# Y DRYSORFA:

CYLCHGRAWN MISOL

Y

METHODISTIAID CALFINAIDD.

1882.

Llyfr XXXVI. o'r Gyfres Newydd, a Llyfr LII. o'r Hen Gyfres.

TREFFYNNON:
CYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS AND SON.
MDCCCLXXXII

# CYNNWYSIAD.

**Traethodau.**


Tu dal.

Adfeiliad ac Adfywiad, gan y Parch. G. Davies, Aberteifi ... ... ... 81
Adfywiad Crefyddol, gan y Parch W. Rowlands, Arfon .. ... ... 201
Amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol, gan y Parch. J. Grey Jones, Llanfair ... 123
Araeth y Parch. Griffith Parry ar Natur Eglwys, gan Mr. D. Jones, Aberystwyth ... ... .. ... 161
Bywyd Iesu, gan y Parch. W. Griffith, Llansantffraid ... ... ... 126
Bywyd yn helaethach, gan y Parch. T. Rees, Merthyr ... ... ... 46
Cymhwysderau gofynol mewn ymgeiswyr am Aelodaeth Eglwysig, gan y Parch. D. Griffith, Rhuddlan ... 409
Cynulleidfa yn Addoli, gan y Parch. R. Edwards, ... ... ... 41
*Cynnydd* a Dadblygiad yr Eglwys, gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A. 321, 361
Cynghor ar Neillduad Blaenoriaid, gan Mr. O. Williams, Bodffari ... ... 168
Dylanwad yr Ysbryd Glân ynglŷn â'r Weinidogaeth, gan y Parch. S. T. Jones, Llanfairfechan ... ... 369
Dylanwad Ysbrydol Crist yn gwellâu dynion o ran eu pethau naturiol a daearol, gan y Parch. J. Pugh, B.A., Treffynnon ... ... ... 329
Dyledswydd Proffeswyr Crefydd tuag at yr Ysgol Sabbothol .. .. 412
Dyledswydd yr Eglwys at Ddychweledigion Ieuainc, gan y Parch. J. S. Davies, M.A., Llanelli .. ... 241
Dynion yn eisieu, gan y Parch. D. Jones, Gwyddelwern ... ... ... 205
Ffydd, gan y Parch. J. Owen Jones, Llanberis ... ... ... 9
Goleuni yn Llewyrchu, gan Mr. W. Howell, Pencoed, Morganwg ... ... 441
Gweledigaeth yr Ysgol, gan y Parch. G. Owen, Rhosddu ... ... ... 444
Gwybod yr Ysgrythyr Lân yn Ieuanc, gan y Parch. Jonathan Jones ... 287
Haelioni Crefyddol, gan Mr. J. Davies, Salford ... ... ... ... 164
Llefaru wrth Dduw, gan y Parch. O. Jones, Llandudno ... ... ... 121
Meddwdod, gan y Parch. J. Owen, Bettws-y-coed ... ... ... 249
Moesgarwch ... ... 207, 246
Myfyrdod a Gweddi, gan y Parch. E. Foulkes Jones ... ... ... 171
Pa fodd i wrando, gan y Parch. J. Hughes, M.A., Machynlleth ... 401
Pregethu yr Oes hon a'r Oes o'r blaen, gan y Parch. Griffith Ellis, M.A. ... 87
Rhwystrau i gyffesu Crist, gan y Parch. T. Hughes, Manchester ... ... 6
Y Capelydd ... ... ... 383
Y Comed .. ... ... ... 14
Y Groes, yr Ardd, a'r Bedd, gan y Parch. J. Williams, Caerlleon . .. 12
Y Newydd a'r Hen, gan y Parch. Dr. Hughes, Liverpool ... ... 281
Y Tywyllwch sydd yn awr, a'r eglurhâd a fydd eto, gan y Parch. Joseph Thomas ... ... ... ... 1
"Yn awr beth a ddysgwyliaf?" gan y Parch. Griffith Hughes, Edeyrn ... 85


---

**Adgofion ac Adroddiadau Crefyddol.**


Archollion Gweinidog ... 211, 258
Athrawiaeth Etholedigaeth 15, 55, 93
Awgrymau i Wragedd Gweinidogion ... 336
Cynnorthwyo yr Annuwiol ... ... 291
Enoch Mellor, D.D. ... .. ... 96
Gwaredwr eraill heb allu ei waredu ei hun; pregeth gan y Parch. J. Elias ... 173
Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel:—
Rhagarweiniad ... ... ... 18
I. Cofiaint ... ... ... 18
II. Y Cyfnod cyntaf ar fy oes ... 58
III. Cofion boreuaf ... ... 59
IV. Evan Jones, Hwsmon Gwernyffynnon ... ... ... 100
V. Y Cyfarfod Plant ... ... 134
VI. Y Gwyddel ... ... ... 178
VII. Y Ddwy Ysgol ... ... 217
VIII. O dan Addysg ... ... 255
IX. Materion Eglwysig ... ... 293
X. Y Pwnc Addysg ... ... 337
XI. Ar y Carped ... ... ... 374
XII. Ar yr Aelwyd ... ... 416
XIII. Seth ... ... ... 452
John Kitto, D.D. ... ... 129, 215
Llythyrau y diweddar Barch. Henry Rees ... ... ... ... 132
Llythyrau y diweddar Barch. W. Roberts, Amlwch ... ... ... 99
Methodistiaeth Rhan Uchaf Llanddeiniolen, gan y diweddar Barch. Robert Ellis ... ... 371, 420, 448
Methodistiaeth yn Edeyrnion 423, 457
Rhwystrau i Adfywiadau Crefyddol ... 176
Y Diwygiad Crefyddol yn 1859—60 ... 57
Yr Hen Ddiwygiad yn Llangeitho ... 18


---

**Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.**


Deuteronomium xxvii. 6, 7 ... ... 61
2 Breninoedd ii. 11 ... ... ... 137
" iv. 8 ... ... ... 459

| | Tu dal. |
|---|---|
| Psalm lxviii. 15, 16 ... ... ... | 221 |
| " " 22, 23 ... ... ... | 260 |
| Diarebion xi. 2 ... ... ... | 102 |
| " xvi. 24 ... .. ... | 103 |
| Pregethwr iv. 8 ... ... ... | 460 |
| Esaiah i. 8 ... ... ... ... | 137 |
| Matthew xxv. 32, 33 ... ... | 260 |
| Luc iii. 16 ... ... ... ... | 461 |
| Rhufeiniaid iv. 25 ... ... ... | 61 |
| " xii. 10 ... ... ... | 138 |
| 1 Corinthiaid x. 13 ... ... ... | 379 |
| " xv. 43—45 ... ... | 22 |
| 2 Corinthiaid i. 8 ... ... ... | 379 |
| " xii. 16 ... ... ... | 379 |
| Pa le y cafodd Moses y gyfraith hono ... | 21 |
| Portreadau Trydydd Epistol Ioan ... | 259 |
| Y ddwy Salm gyntaf ... ... | 102 |
| Y Pedair Efengyl ... ... ... | 137 |

**Darlleniadau Detholedig.**

| | |
|---|---|
| Anghenion yr Eglwys ... ... | 425 |
| Anghrediniaeth ac adferiad Thomas ... | 138 |
| Arweinyddion Eglwysig ... . .. | 105 |
| Bendithio bendithion ... ... | 424 |
| Beth am y weinidogaeth yn ein Cyfundeb | 63 |
| Beth yw ein dyled i'r Iuddewon ... | 24 |
| Beth yw gwir Fawredd ... ... | 181 |
| Creadigaeth y wraig ... ... ... | 260 |
| Crist yn Frenin ... ... ... | 23 |
| Cyflawnder yr amser... ... ... | 140 |
| Cyfranu oddiar egwyddor o gariad ... | 62 |
| Cynghorion i Bregethwyr ... ... | 139 |
| Diwydrwydd gyda chrefydd ... ... | 182 |
| Dyn yn greadur dibynol ... ... | 62 |
| Gofal y Creawdwr am ei greaduriaid ... | 182 |
| Gras a Dyledswydd ... ... ... | 62 |
| Gweinidogaeth y Gair ... ... | 342 |
| Gwerthfawrogrwydd llyfrau da ... | 260 |
| Mynydd Sïon ... ... ... | 104 |
| Perffeithiad yr Eglwys ... ... | 23 |
| Rheswm dyn a Threfn Gras ... . | 183 |
| Teulu Duw ... ... ... ... | 342 |
| Un o Esgusodion Calon Gybyddlyd ... | 424 |
| Y Brodyr a'r Chwïorydd Hynaf ... | 261 |
| Y Puritaniaid ... ... ... | 105 |
| Ymadroddion y Doethion 24, 63, 106, 140, 183, 261, 343, | 426 |
| Ymffrostio yn y Groes ... ... | 341 |
| Ysbryd Anfaddeugar ... ... | 261 |
| Yr Hedydd a'r Hebog ... ... | 24 |

**Barddoniaeth.**

| | |
|---|---|
| Ar goll tu draw i'r afon ... ... | 185 |
| Beddargraff i'r diweddar Barch. O. Owens, Bethel, Môn ... ... | 345 |
| Beth sydd oreu ... ... ... | 142 |
| Cyfryngwr rhwng dwyblaid ... ... | 263 |
| Cyffes hen Wrthgiliwr ... ... | 427 |
| Cyffes yr Afradlawn ... ... ... | 142 |
| Emyn ymostyngol ... ... ... | 427 |
| Emynau at wasanaeth Cyfarfodydd Diolchgarwch am y Cynauaf, gan Dyfed | 380 |
| Er cof am y Parch. H. Jones, Llangollen | 344 |

| | Tu dal. |
|---|---|
| Gobaith cristion ar wely marw ... | 222 |
| Gwaredigaeth y Lleidr Edifeiriol ... | 108 |
| Gweddi ... ... .. ... | 262 |
| Hiraeth yn America am Gymru ... | 184 |
| Llinellau Rhigymol .. ... ... | 222 |
| Marw Un yn tywyd byd ... ... | 185 |
| Mil henflych iti ... ... ... | 25 |
| Mydriad newydd o'r Ganfed Salm ... | 461 |
| Paid digaloni, gyfaill ... ... | 141 |
| Pennillion coffadwriaethol am y diweddar Mr. G. Jones, Bala ... ... | 107 |
| Preseb Bethlehem ... ... ... | 184 |
| Profiad cristion ... ... ... | 461 |
| Pwy fel Efe ? ... ... ... | 427 |
| Sicrwydd adgyfodiad y cristion ... | 185 |
| Sŵn gwlaw yn y gwynt ... ... | 263 |
| Wrth wely cystudd credadyn... ... | 426 |
| Y cristion yn marw ... ... ... | 109 |
| Y wraig rinweddol ... ... ... | 141 |
| Ymweliad cyfaill ... ... ... | 262 |
| Yr amddifad ... ... ... | 25 |

**Bwrdd y Golygydd.**

| | |
|---|---|
| Anffyddlondeb i'r Cyfundeb ... ... | 428 |
| Cais am wybodaeth ... ... ... | 186 |
| Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa ... | 223 |
| Epistol Cyntaf Pedr ... ... | 26, 64 |
| Ffurflywodraeth Eglwysig ... ... | 462 |
| Gair o gywiriad ... ... ... | 346 |
| Lladd a bwyta creaduriaid direswm 265, | 346 |
| Llythyr o Lydaw oddiwrth y Parch. James Williams ... ... ... | 142 |
| Llythyr y diweddar Barch. Ebenezer Davies, Llanerchymedd ... | 428 |
| Mr. Thomas Lewis yn Mryniau Cassia... | 186 |
| Proscairon, neu Roeg a Chymraeg ... | 67 |
| "Tyred fel yr wyt"... ... ... | 67 |
| Y Canu Cynnulleidfäol . 268, 345, | 381 |
| Y canu eto ... ... ... | 382 |
| Y Cyfarfodydd Eglwysig ... ... | 383 |
| Y Dechreuwyr Canu 66, 144, 185, 223, | 264 |
| Yr ymlosgiad yn Mawkhar, Shillong ... | 186 |
| Yswiriant Methodistaidd ... ... | 463 |

**Y Wasg.**

| | |
|---|---|
| Burial Fees in Wales ... ... | 385 |
| Caniadau y Fyddin: Dirwestol ... | 267 |
| Chwedl Gymraeg: Yr Eneth Amddifad | 68 |
| Dalen o Lyfr Bywyd ... ... | 68 |
| Gemau y Beirdd ... ... ... | 69 |
| Gemau Barddonol ... ... ... | 266 |
| Hanes Crefydd yn Treuddyn ... ... | 267 |
| Hanes dechreuad a chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd yn mhlwyfydd Llanllechid a Llandegai ... ... | 267 |
| Hanes plwyf Ffestiniog o'r cyfnod boreuaf ... ... ... ... | 68 |
| Hand-Books for Bible Classes:— | |
| The Westminster Confession of Faith | 68 |
| The Book of Joshua ... ... | 149 |
| The Epistle to the Hebrews... ... | 347 |
| The Church ... ... ... | 347 |
| Scottish Church History ... ... | 348 |
| Hatling i'r drysorfa ... ... ... | 365 |
| Koheleth: pregethau Hiraethog ... | 14 |

Tu dal.
Odlau'r Efengyl ... ... ... 149
Studies in the Gospel according to St. Matthew ... ... ... ... 265
Studies in the Acts of the Apostles ... 265
Traethawd Pum' Gini ar Lwyrymwrthodiad â'r Diodydd Meddwol .. 266
Y Testament Newydd Diwygiedig ... 148
Yr Emmanuel, sef Hanes Bywyd a Marwolaeth ein Harglwydd Iesu Grist 383

Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

Adgyweiriad capel ... ... ... 433
Anerchiadau cydymdeimladol ... 110
Atebion y gwŷr ieuainc yn Cassia i ofyniadau duwinyddol Mr. T. Lewis ... 297
Athrofa y Bala ... ... 429
Arholiad Athrofa y Bala ... ... 310
Bugeiliaeth yn Sir Gaerfyrddin ... 73
Caerphili: cynnygiad haelfrydig ... 73
Canu Cynnulleidfäol... ... ... 467
Capel Ystalyfera ... ... ... 193
Capelau Newyddion:—
Bowydd, Ffestiniog ... ... 74
Prince's Road, Upper Bangor ... 74
St. Helens ... ... ... 271
Cwmtirmynach ... ... ... 271
Morfa Nefyn ... ... ... 271
Tan'rallt, Dyffryn Nantlle ... ... 396
Ebenezer, Llwynbrwydrau ... ... 396
Cenadaeth Gartrefol y Deheudir ... 32
Coleg Athrawol Abertawe ... ... 32
Croniclau Haelioni—
Capel Seisonig Llanelli ... ... 192
Caerphili ... ... 396
Cynnulleidfa Llanllechid ... ... 192
Davies, D., Ysw., A.S., Llandinam 192, 433
Davies, R., Ysw., A.S., Môn ... 1'0
Dwyrain Morganwg ... ... 271
Llundain ... ... ... 271
Roberts, D., Ysw., Liverpool ... 355
Sir Benfro ... ... ... 271
Sir Fynwy ... ... ... 192
Williams, G., Ysw., Miskin Manor ... 192
Cwrdd yn Netherfield Road, Liverpool... 150
Cydymdeimlad mewn gweithred ... 33
Cymanfa y Pasg yn Ffestiniog ... 192
Cynwyl ... ... ... ... 111
CYMDEITHASFAOEDD CHWARTEROL—
Llangollen, Rhagfyr, 1861 ... 27, 69
Talgarth, Mawrth, 1882 ... ... 187
Harlech, Ebrill, 1882 ... ... 224
Pontardawe, Mai, 1882 ... ... 268
Llangefni, Mehefin, 1882 304, 352, 394
Aberteifi, Awst, 1882 ... ... 386
Pwllheli, Awst, 1882 ... 391, 430
Blaenau, Mynwy, Hydref, 1882 ... 464
Darlithwyr a Darlithiau ... ... 110
Dirwest ... ... ... ... 434
Eglwysi Cymreig Liverpool ... ... 74
Graddau Ysgoleigiol... ... 32, 73
Gwobrwyo Ffyddlondeb ... ... 397
Liverpool: darlith ... ... ... 434
Llaneurwg .. ... ... ... 111
Maerod .. ... ... ... 32
Mamre, Sir Benfro ... ... ... 230
Marwolaethau Blaenoriaid ... ... 355

Tu dal.
Marwolaethau Gweinidogion:—
Y Parch. John Williams, Llandrillo ... ... ... 74, 109
Y Parch. Abraham Oliver, Llanddewi Brefi ... ... ... ... 109
Y Parch. Robert Williams, Nant, Lleyn ... ... ... ... 110
Y Parch. David Williams, Croesoswallt 149
" Emrys Evans, Dinbych ... 229
" Hugh Roberts, Corris ... 230
" Thomas Rees, Ffynnon Tâf 230
" W. Williams, Summer Hill 356
" D. Williams, Crughywel ... 396
" John Evans, Croesoswallt 396
" Watkin Williams, Pencoed... 433
Peth newydd yn Liverpool . ... 111
Sebastopol, Australia ... ... 432
Sefydlu Gweinidogion ... 73, 396, 469
Swper haelionus yn America ... ... 150
Symudiadau Gweinidogion 32, 74, 110, 193, 354, 433
Talu dyled capel Coedllai ... ... 73
Traethodyn y Parch. T. Levi ar Ffeiriau Cymru ... ... ... ... 433
Treamlod ... .. ... ... 32
Trysorfa y Gweinidogion yn Nehau Aberteifi ... ... ... ... 150
Tŷddewi ... ... ... ... 111
Tysteb i'r Parch. O. Hughes, Caergybi... 434
" " James Lamb, Liverpool 150
" " O. Jones, Fachwen ... 468
Y GYMANFA GYFFREDINOL .. 298, 348
Y Parch. D. Charles Davies, M.A., Llundain ... ... ... 467
Y Parch. D. Jones, Dinbych, yn Australia ... ... ... 150
Yr Adfywiad Crefyddol yn Arfon 150, 190
Ysgrifenyddiaeth Cyfarfod Misol Sir Benfro ... ... ... ... 355

Trem ar yr Amserau ac Amgylchiadau 33

Hanes Crefydd yn Gyffredinol.

Byrfynegiadau crefyddol ... ... 252
Cylchwyliau y Cymdeithasau Crefyddol yn Llundain:
Y Bibl Gymdeithas ... ... 230
Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr 231
" " y Wesleyaid 231
" " Llundain ... 231
" " Eglwys Loegr 232
Cymdeithas y Traethodau Crefyddol ... ... 232
Undeb Bedyddwyr Prydain Fawr a'r Iwerddon... ... ... ... 435
Undeb Cynnulleidfaol Lloegr a Chymru 435
Y Gyngres Eglwysig... ... ... 435

Bywgraffiaeth.

Beadle, Mr. E., Llanidloes ... ... 193
Edwards, Mrs., Bwlch, Brycheiniog .. 278
Evans, Mrs., Penllwyn ... ... 152
Evans, Miss Annie, Llanwyddyn ... 272

Tu dal.
Hughes, Mr. John, Tyddyn y bluen ... 469
Jones, John, Ysw., Ynysgain... ... 221
Jones, Mrs. Mary, Victoria, Penycae ... 469
Jones, Mr. Robert, Ysbytty ... ... 435
Parry, Miss, Garth, Bangor ... ... 270

—

**Amrywiaethau.**

Aflwyddiant Gweinidogaethol ... 275
Amgylchiadau .. ... ... 233
Amynedd i ddysgwyl ... ... 75
Araeth Ddirwestol ... ... ... 156
Barfoniaeth... ... ... ... 316
Boddio pawb ... ... ... 195
Brenin Italy a'r Gweinidogion Protestanaidd ... ... .. 33
Camgymeriadau ... ... ... 470
Ciniaw i un ... ... ... 195
Credinisaeth ymarferol ... ... 437
Credu mewn Etholedigaeth ... ... 437
Cyffelybrwydd wyneb ... ... 356
Cynghor priodasol ... ... ... 156
Dadgysylltiad ... ... ... 233
Darllen a meddwl ... ... ... 437
Dawn Ffraethineb ... ... ... 34
Deunaw Llythyr ... ... ... 75
Dim ammheuaeth ... ... ... 470
Dylanwad y Fam ... ... ... 275
Dyledwyr Lladronllyd ... ... 194
Ffydd yn ddiofn ... ... ... 276
Gan y gwirion y ceir y gwir ... ... 316
Gair i ferched heb briodi ... ... 155
Gostyngeiddrwydd ar gyfer hunan-fawrhâd ... ... ... ... 470
Gwaedoliaeth John Bright ... ... 75
Gwaedu teimladau Pregethwyr ... 155
Gwaith yr Arglwydd ... ... 155
Gweddi'r ffydd yn gwella'r llaw ... 75
Gwerth Cynnefindod... ... ... 356
Gwobrwyad salw ... ... ... 438
Gwybod y peth sydd eisieu ... ... 114
Heb fod yn gomfforddus eto ... ... 34
Helpio'r Pregethwr ... ... ... 356
Hen Bregethwyr ... ... ... 75
Meithrin blinderau ... ... ... 470
Myned yn hynach ... ... ... 156
Oedran Anifeiliaid ... ... ... 437
Pa fodd i gyrhaedd henaint yn gysurus 356
Paham yn ddibriod ... ... ... 275
Pedair clust... ... ... .. 356
Pluen yn y cap ... ... ... 437
Pregeth profiad .. ... ... 3.7
Rhagluniaeth yn gofalu ... ... 437
Rhoddion haelionus ... ... ... 75
Sicrwydd yr addewid nefol ... ... 154
Swyddog anwybodus ... ... 156
Tymher gwynfanllyd ... ... 316
Tyst gochelgar ... ... ... 156
Y ddau ddyn oddimewn ... ... 114

Tu dal.
Y Gweinidog a'r orweddfainc ... ... 437
Y gwir noeth ... ... ... 34
Y gwynebau ... . ... 317
Y llong a'r llwyth ... ... ... 276
Y newynydd yn newynu ... ... 114
Y Parch. W. Jay a'i wraig ... ... 154
Ymresymu anatebadwy ... ... 114
Yr Efrydwyr dedfrydedig .. .. 194
Yr eithriad ... . . ... 317
Yr holi parotoadol i Fedydd ... ... 155
Yr olygfa ar y Sabboth ... ... 276
Yr wynebpryd dynol ... ... 275
Ysgrifenu brysiog ... ... ... 194

—

**Y Gronicl Cenadol.**

*Bryniau Khasia—*
Llythyrau oddiwrth y Parch. R. Evans 36, 116, 117, 237, 319, 397
" oddiwrth y Parch. Dr. Griffiths 114, 276, 318, 358, 398
" oddiwrth y Parch. G. Hughes 77, 358, 439
" oddiwrth y Parch. John Jones 38, 115, 237, 277, 320, 360, 439
" oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones 118, 157, 357
" oddiwrth y Parch. John Roberts ... ... 35, 76
" oddiwrth Mrs. John Roberts 76, 398
*Llydaw* ... ... ... 78
Llythyrau oddiwrth Mr. W. Jenkyn Jones ... ... 158, 233, 235, 438

Anghen Presennol ein Cenadaeth ... 438
Arholiad ar y Dosbarth Duwinyddol yn Cherra ... ... ... ... 279
Cyfarfod yr Henaduriaeth yn Shella ... 195
" " Nongsawlia ... 471
Cymdeithas Cenadol Llundain ... 440
Cymdeithas Cenadol y Plant ... ... 474
Derbyniadau at y Genadaeth 39, 80, 120, 160, 200, 280, 320, 360, 400, 440, 474
Dosbarth Khadsawphra ... ... 156
Llyfryn Cenadol Seisonig ... ... 400
Llythyrau oddiwrth Mr. Thomas Lewis 119, 198
Nodiadau Cenadol—
Cenadaethau yn Affrica ... ... 400
Cenadaethau Canolbarth China ... 400
Y Morafiaid ... ... ... 400
Shella ... ... ... 317
Y Casgliad Cenadol... ... ... 80
Ymadawiad y Parch. T. Jerman Jones... 39
Ymweliad âg Ynys Groix .. ... 34
Yr Adroddiad Blynyddol ... ... 280

Y DRYSORFA.

RHIF. 615.] IONAWR, 1882. [LLYFR LII.

## Y TYWYLLWCH SYDD YN AWR, A'R EGLURO A FYDD ETO, AR ORCHWYLIAETHAU DUW.

### PREGETH GAN Y PARCHEDIG JOSEPH THOMAS, CARNO.

IOAN xiii. 7: "Yr Iesu a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Y peth yr wyf fi yn ei wneuthur, ni wyddost ti yr awrhon, eithr ti a gei wybod ar ol hyn."

YR hyn a achlysurodd i'r Arglwydd Iesu lefaru gair y testun ydoedd gwaith Pedr yn anfoddloni iddo olchi ei draed ef. Gan fod Pedr wedi ei adnabod yn Grist, Mab y Duw byw, nid rhyfedd iddo ofyn i'r Iesu, "A wyt ti yn golchi *fy nhraed i? Ni chei di olchi fy nhraed i byth.*" Dysgu y wers fawr o ostyngeiddrwydd i'r dysgyblion oedd mewn golwg gan yr Iesu wrth olchi eu traed, yr hyn beth yr oedd Pedr eto heb ei ddeall.

Cymerwn fantais ar y testun i sylwi ar y pethau canlynol:

I. FOD DUW YN GWEITHIO: "Y pethau yr wyf fi yn eu gwneuthur."

Nid yn unig fe fu Duw yn gweithio yn nygiad y bydoedd i fod, ond y mae efe eto yn parhâu i'w cynnal a'u llywodraethu. Llywodraeth Duw ar y bydoedd sydd yn sicrhâu yr atebant ddyben Duw yn eu creu. Mae efe yn cario ymlaen ei lywodraeth trwy ddeddfau priodol i natur ei wahanol greaduriaid; y planedau trwy ddeddf attyniad, y bwystfilod, ymlusgiaid, ac ehediaid trwy reddf, a dyn trwy ddeddf foesol. Mantais fawr i'r byd ydyw y graddau helaeth o sefydlogrwydd a berthyn i ddeddfau cyffredinol Duw. Ond cofier mai nid segur-edrychwr ydyw Duw, nac ychwaith gwasanaethydd ei ddeddfau; ond y mae efe yn ysgogydd, a chanolbwynt mawr ei holl greadigaeth. Yr oedd Duw wedi gosod dyn yn fath o ganolbwynt i'r ddaear hon; y naill fywyd yn gwasanaethu y llall, y bywyd llysieuol yn gwasanaethu y bywyd anifeilaidd, a'r bywyd hwnw at wasanaeth dyn. Fel y mae y brif blaned, ynghyd a'r lleuadau a berthyn iddi, yn troi o amgylch yr haul, felly yr oedd dyn yn y mwynhâd o'r holl arglwyddiaeth a ordeiniwyd iddo i wasanaethu Duw.

Mae yn ymddangos fod Solomon wedi agor ei lygaid ar weithredoedd Duw i raddau helaethach mewn rhyw ystyr nag y gwnaeth neb a fu yn y byd o'i flaen ef. Deallodd efe mai nid rhyw beiriant wedi sefyll ydyw y byd hwn, ond fod pob peth yma ar waith; yr haul yn cyfodi ac yn machlud—yr afon yn dyfod o'r môr, ac ar ei thaith yn ddiorphwys nes dychwelyd yno yn ol; y gwynt yn dychwelyd yn ei gwmpasoedd; un genedlaeth yn myned ac un arall yn dyfod; yr ymherodraethau mawrion fel rhyw ynysoedd symudol, a'r naill yn cael ei hadeiladu ar adfeilion y llall; gorchwyliaethau Duw yn newid, a rhai o'i drefniadau ef ei hun yn myned yn rhy hen i fyw; crefydd yn parhâu yn y byd o oes i oes, ond ei dillad hithau yn cyfnewid. Fel y mae crefydd yn cyfodi i radd uwch o ysbrydolrwydd, yr ydym yn gweled fod llai o ddillad yn gwneyd y tro iddi. "Hyd amser y diwygiad" yr oedd trefniadau goruchwyliaeth Moses i barhâu; ond y mae y trefniadau a osododd Duw o dan yr efengyl i barhâu hyd yr ail ddyfodiad. Felly y mae crefydd i'w chario ymlaen yn ol y trefniadau a ordeiniwyd iddi o dan oruchwyliaeth yr efengyl tra yn y fuchedd hon. Ond beth fydd trefn y gwasanaeth yn y fuchedd dragywyddol, nid amlygwyd eto.

Mae yn wir fod graddau o ryddid

wedi ei ganiatâu i eglwys Dduw o dan yr efengyl i gario yr achos ymlaen, yn unol â'i hegwyddorion hi, yn ol fel y bydd yr amgylchiadau, fel nad ydyw pob peth o ran dull, amser, a lle, ddim wedi ei benderfynu fel yr oedd i'r eglwys gynt. Duw a gynlluniodd y tabernacl gynt; ac oedd yn rhaid i Moses ofalu am ei wneyd, bob hoelen ac ystyllen, yn ol y portread; ond fe amlygodd Duw ei foddlonrwydd i'r bobl gynllunio a darparu cerbydau i symud y tabernacl. Felly eto: mae rhyw bethau wedi eu trefnu gan Dduw yn y fath fodd fel nad ydyw llaw dyn i gyffwrdd â hwy; ond y mae yn hoff ganddo weled ei bobl yn trefnu ac yn pryderu pa fodd i gario ei achos yn ei flaen yn y byd. Mae hyd yn nôd gwaith ei bobl yn meddwl am ei enw yn werth gan Dduw ei roddi yn y "llyfr coffadwriaeth." Golwg isel ar grefydd ydyw gweled pawb yn fyw i gynllunio gyda golwg ar y byd hwn a'i bethau, un ei faes, arall ei fasnach, pawb ei dŷ ei hun, a neb yn pryderu dim ynghylch cario achos Duw yn ei flaen—yn fyw i'r byd, ond "ddwywaith yn feirw" i grefydd.

Er mai y Bibl yw yr amlygiad olaf o ewyllys Duw i'r byd mewn un ystyr, eto mae rhagluniaeth yn argraffu ei ewyllys yn barhâus; a phan bydd yr oll o ewyllys Duw tuag at y byd wedi ei argraffu gan ei ragluniaeth, yna ni bydd amser mwyach." Er ein bod yn gweled ac yn cydnabod llaw Duw mewn pethau neillduol, eto y mae perygl i ni golli yr olwg ar Dduw yn y pethau cyffredin yr ydym yn eu mwynhâu. Yr oedd cenedl Israel yn cydnabod yn rhwydd fod Duw gyda hwynt wrth y Môr Côch, ond hynod mor fuan y ceir hwynt yn gofyn y cwestiwn hwnw a ddigiodd gymaint ar Dduw, sef "A ydyw yr Arglwydd yn ein plith ni, ai nad yw?" Colofn Duw oedd yn eu harwain ac yn eu hamddiffyn, a manna Duw oedd yn eu cynnal y diwrnod yr oeddynt yn gofyn hyny; ond gan eu bod yn arfer a chael y pethau hyny bob dydd, yr oeddynt wedi colli yr olwg ar Dduw ynddynt. Er fod y trydan *(electricity)* yn ein hamgylchu ar bob llaw, ac yn foddion bywyd i bron bob peth yn ein plith, eto nid ydym yn ei weled oddigerth ar rai prydiau. Pan y mae yr elfen fywydol ac anweledig hon yn tori allan yn fellten, y pryd hwnw yr ydym yn ei gweled; ond y mae hi yma yn barhâus, ac yn gweini arnom, er ei bod yn anweledig. Yn gyffelyb y mae gofal rhagluniaethol Duw, er mor anweledig ydyw yn aml, eto ar rai prydiau ac mewn rhai amgylchiadau yn tori allan megys yn fellten, fel, er mor anghrediniol ydym, nad allwn lai na chredu fod Duw yn gofalu drosom.

Mae goruwchreolaeth Duw yn cyrhaedd dros bob peth. Mae ganddo ei ddybenion da ei hun tu draw i amcanion drwg dynion; ac y mae efe yn gallu cyflawni ei fwriadau da ei hun trwy fwriadau drwg dynion, a hyny heb ddinystrio eu rhyddid na'u cyfrifoldeb (Gen. l. 20). Er i Herod, a Phontius Pilat, y Cenedloedd, a phobl Israel, ymgyfarfod yn Jerusalem yn erbyn Sanct Fab Duw, eto yr oll a wnaethant oedd bod yn offerynau i ddwyn i ben yr hyn a ragluniodd llaw a chynghor Duw eu gwneuthur.

II. Fod llawer o dywyllwch yn aros i ni ar weithredoedd a gorchwyliaethau Duw yn y fuchedd hon: "Y pethau yr wyf fi yn eu gwneuthur, ni wyddost ti yr awrhon."

Mae ei ffyrdd ef yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion, fel nad adwaenir ei ôl ef. Mae y fuchedd hon yn rhyw ystâd o brawf a dysgyblaeth ar ddyn. Nid prawf fel un Adda ydyw, eto y mae yn yr efengyl gynnyg newydd ar fywyd i fyd condemniedig. Ar ol i Simei droseddu nes haeddu marw yn ol y gyfraith, fe benderfynodd Solomon roddi prawf newydd arno, trwy addaw iddo gael byw yn Jerusalem, ar yr ammod nad ydoedd ef i fyned o'r ddinas. Derbyniodd Simei yr addewid yn ddiolchgar; ond ymhen y tair blynedd fe droseddodd yr ammod a osodwyd iddo, trwy fyned dros afon Cedron i gyrchu ei weision oddiwrth frenin Gath; ac mewn canlyniad i hyny fe'i rhoddwyd i farwolaeth. Ac nid yw yn ymddangos fod neb wedi dangos y gradd lleiaf o gydymdeimlad âg ef, gan iddo fethu yn ngwyneb y cynnyg newydd a roddodd Solomon iddo. Nid agorodd Duw yr un drws o obaith o flaen yr angylion syrthiedig; ond am ddyn, er iddo syrthio yn yr Adda Cyntaf, dyma sail gobaith iddo yn yr Ail Adda. "Cusenwch y Mab rhag iddo ddigio." Wedi i Dduw gael ei ddigio, fe ddaeth y Mab yn ein natur

ai i wneyd i fyny heddwch rhwng Duw a dyn. Os gwrthodir dyfod i heddwch â Duw yn ei Fab, nid oes neb i gyfryngu ar ei ol. Nid yn unig y mae efe yn ail Adda, ond efe hefyd yw yr Adda diweddaf. Ynglŷn âg ef y mae'r cynnyg olaf o eiddo Duw i fyd colledig am fywyd. Gwrthod hwn fydd y ddamnedigaeth.

Mae y fuchedd hon hefyd yn sefyllfa o ddysgyblaeth ar ddyn i'w barotoi i'r fuchedd dragywyddol. Mae amgylchiadau y bywyd hwn yn rhoddi gwaith i bob gras sydd yn y cristion; ac wrth weithio y maent yn cynnyddu. Diammheu fod Daniel yn gryfach ei ras wedi cael ei gadw gyda'r llewod na phe buasai Duw yn ei gadw rhag myned yno. Mae pob peth diwaith yn llygru yn fuan. Am a wyddom ni nad oes rhydu a llygru yn natur holl greadigaeth Duw, ond fel y mae hi yn cael ei chadw yn ddysglaer wrth weithio. Mae y dwfr llonydd yn llygru yn fuan; wrth redeg y ceir ef yn cadw ei burdeb. *Pe byddai* y môr yn llonydd, er yr *halltrwydd* sydd ynddo, fe lygrai i'r fath raddau nes ein gwenwyno ar y ddaear.

Arfer Duw ydyw defnyddio ymron bob moddion tuag at ddyn yn hytrach na'i ddamnio. Fe anfonodd Manasseh i garchar Babilon yn lle ei anfon i garchar tragywyddol. Anfonodd Nebuchododosor at anifeiliaid er mwyn peidio ei anfon ef at gythreuliaid. Cyfraith olaf Duw gyda golwg ar y dilledyn â'r gwahanglwyf ynddo oedd ei losgi. Gorchymynid ei olchi a thori darn allan o'r dilledyn; ond os byddai y gorchwyliaethau hyny yn aneffeithiol, nid oedd dim ond ei losgi. Fel hyn, peth olaf Duw ydyw damnio dyn.

Trefn gyffredin Duw ydyw dwyn ei waith ymlaen yn raddol. "Yn gyntaf yr eginyn, ar ol hyny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen." Mae yn beth o bwys i ddyn geisio ysgogi ymlaen yn y byd hwn yn ol y ddeddf fawr hon sydd i'w chanfod bron yn holl drefniadau Duw. "Pan oeddwn fachgen," medd yr Apostol Paul, "fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn; ond pan aethum yn ŵr, mi rois heibio bethau bachgenaidd." Gwelir ambell un fel yn ymddadblygu yn rhy gyflym ac yn ceisio dyfod drosodd o'r cyfnod bachgenaidd yn rhy fuan; ond yn y cyffredin rhaid i bob un aros cyrhaedd oedran priodol cyn y rhydd cymdeithas ymddiried a lle dyn iddo. Ceir gweled un arall yn cyrhaedd oedran gŵr, ond heb roddi heibio bethau bachgenaidd; yn aros yn rhyw fachgen mawr ar ol iddo o ran oedran basio cyfnod bachgen. Nid yw y naill na'r llall yn agos mor brydferth â'r un sydd yn ysgogi ymlaen yn ol cwrs cyffredin natur. Wrth ffydd yr ydym i rodio yn y byd hwn, ac nid wrth olwg. Mae y byd hwn a'r byd a ddaw yn hawlio sylw dyn tra yn y fuchedd hon; ac y mae Duw wedi mantoli y goleuni yn y fath fodd fel ag i roddi tegwch i'r ddau fyd gael eu lle priodol yn meddwl dyn. Tybir yn ol tystiolaeth yr apostol yn 2 Cor. xii. 4, y byddai agor pyrth y byd arall yn eangach na yr hyn y mae Duw wedi ei ddadguddio yn y gwirionedd yn drosedd ar ddeddfau y byd-oedd. Y drefn ydyw fod i'r ddau fyd gael eu dwyn ymlaen; a phe byddai'r llèn ychydig yn fwy teneu rhyngddynt, fe fyddai y byd mawr tragywyddol wedi dyrysu ein byd ni. Pe byddai caniadau y nef, a gruddfanau uffern, o fewn cylch ein clywedigaeth ni ar y ddaear, byddent yn ddigon i'n gwneuthur yn gwbl ddiddefnydd i'r byd hwn. Gwyddom am rai a dybiasant iddynt glywed angylion yn canu; ac ni buont am fisoedd lawer, os byth, yr un fath ag o'r blaen. Goleuni priodol i rodio wrth ffydd ac nid wrth olwg, sydd wedi ei drefnu i ddyn yn y bywyd hwn. Pe byddai nefoedd ac uffern yn noeth ac agored ger ein bron, nid buddugoliaeth ffydd a chariad fyddai buddugoliaeth y saint ar fyd, cnawd, a diafol.

Rhanau bychain iawn o ffyrdd Duw sydd wedi eu dadguddio i ni yma. Heblaw y tywyllwch sydd yn aros i ni ar y sefyllfa ddyfodol, y mae llawer o dywyllwch i ni ar ddyfodol y byd hwn; a pha fantais i ni fyddai cael gwybod llawer mwy am ei ddyfodol? Beth pe caffai pob penteulu yn ein plith heddyw lythyr o'r nef yn cynnwys dadguddiad o ewyllys ddirgeledig Duw gyda golwg ar ddyfodol y teulu yn y fuchedd hon, megys pa un o'r teulu sydd i gael ei alw gyntaf i fyd arall, pa bryd a pha fodd y mae hwnw i gael ei symud, a'r cyffelyb, diammheu mai gwell ganddynt ac iddynt fyddai i bethau barhâu yn yr hen drefn. Pe buasai Duw wedi

gosod arnom ni y gorchwyl o benderfynu pa un o'r teulu sydd i ymadael gyntaf, byddem yn bur barod i waeddi fel Dafydd, "Syrthio a wnelwyf yn llaw yr Arglwydd" i benderfynu yn ein lle. Cafodd Elias a Pedr ryw hysbysrwydd neillduol o amser eu hymadawiad â'r byd, a Hezeciah ryw sicrwydd arbenig ynghylch tymmor ei arosiad yn y byd; ond pa fantais a gawsant ar y wybodaeth hono, mae yn anhawdd i ni benderfynu. Rhyw duedd ymneillduo oedd yn Elias pan ddeallodd fod ei symudiad gerllaw. Yr oedd yn anfoddlawn hyd yn nôd i'w was ffyddlawn Eliseus fod gydag ef. Dichon fod cyfarfod y cerbyd mewn trofa fer cystal â'i ragweled o bell; felly mae yn debyg y bydd raid i ni. Yn gyffelyb am Pedr, pan hysbyswyd iddo ei fod ar frys i roddi y tabernacl hwn heibio, fe wnaeth ei feddwl i fyny na byddai dim a wnelai ef â chyfansoddi pregeth, nac ysgrifenu llythyr newydd at neb, na myned ymlaen mewn dim, ond eu hadgoffa am yr hen bethau oeddent yn eu gwybod o'r blaen. Fe gafodd Hezeciah sicrwydd o gael aros yn y byd am bymtheng mlynedd; ac ar ol i ddeg o'r pymtheg gael eu treulio, mae yn bosibl nad oedd fawr o anturiaeth yn ei feddwl wrth dreulio y pum' mlynedd olaf.

Mae cynlluniau Duw mor fawrion fel y mae yn cymeryd miloedd o flynyddoedd i'w dwyn i ben; ond am ddyn, mae'r naill yn planu gwinllan, ac arall yn bwyta o'i ffrwyth. Ebrwydd y derfydd efe, ac yr ehêd ymaith.

III. Y CEIR GWYBOD AR OL HYN.

Pa faint bynag allwn ni ddeall ar weithredoedd a ffordd Duw, dylem gofio nad ydyw Duw yn gwneuthur dim heb fod ganddo rywbeth teilwng o hono ei hun dros ei wneuthur.

Mae plant yn ymostwng i drefniadau eu rhieni, a hyny yn fynych heb ddeall eu dyben; ac fe ddylent wneuthur hyny hefyd; ond cofier y bydd y plant yna, sydd yn bresennol yn uf uddhâu, yn eistedd mewn barn ar ymddygiadau eu rhieni eto ar ol hyn, a hyny fe ddichon pan fydd y rhieni wedi myned i ffordd yr holl ddaear; a gobeithio y bydd yr ymddygiadau wedi bod y fath fel ag y daliant feirniadaeth dêg, heb i'r plant fyned i feddwl yn îs am danynt. Darllenais hanes cyfarfod oedd yn cael ei gynnal gan y dosbarth gweithiol yn swydd Nottingham rai blynyddoedd yn ol pan oeddynt i fesur yn anfoddlawn ar eu cyflogau. Dywedodd un ei fod yn ngwasanaeth ei feistr er ys deunaw mlynedd; "ac nid oes yr un gwell meistr yn y wlad yma na fy un i," medd y gwas, "ac y mae ef yma heno yn y cyfarfod. Naw swllt yn yr wythnos oedd fy nghyflog," meddai efe; "un bachgen oedd genym. Yr oedd y wraig a minnau yn methu gweled ein ffordd i allu rhoddi chwe' mis o ysgol i'r bachgen; o'r diwedd fe benderfynasom fel y tad a'r fam y treiem fyw ar un pryd llai o fwyd yn y dydd am chwe' mis yn hytrach na bod y bachgen yn cael ei adael heb ddim ysgol." Felly y cafodd y bachgen chwe' mis o ysgol; a diau nad oedd raid i'r tad a'r fam yna ddim ofni i'r bachgen hwnw eistedd mewn barn ar eu hymddygiadau; ac fe fydd yn un gwael iawn os na bydd yn ofalus am dalu y pwyth i'w rieni am eu ffyddlondeb hunanymwadol. Gwelwyd llawer o blant y meddwon yn teimlo yn galed ac yn ddirmygus o'u rhieni, o herwydd y trueni oedd wedi cael ei ddwyn arnynt trwy eu hafradlonedd a'u meddwdod hwy. Mae eraill o drugaredd â'u coffadwriaeth yn fendigedig yn eu teuluoedd dros genedlaeth a chenedlaeth. "Ni a gawsom dadau ein cnawd i'n ceryddu ac a'u parchasom hwy; onid mwy o lawer y byddwn ddarostyngedig i Dad yr ysbrydoedd a byw? Canys hwynt-hwy yn wir dros ychydig ddyddiau a'n ceryddent, fel y gwelent hwy yn dda." Yr oeddynt yn gwneyd oreu y gallent hwy yn ol eu barn a'u hamgylchiadau; ond dichon mai nid yn y modd goreu bob amser. "Ond hwn er llesâd i ni, fel y byddem yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef."

Mae Duw wedi trefnu preswylfod dyn yn y modd goreu iddo geisio yr Arglwydd, ac yn arwain dynion oddiamgylch i'r dyben o beri iddynt ddeall. Gwn am un dyn da y dywedir fod iddo amryw frodyr, a'u bod wedi gwasgar i wahanol wledydd, ac iddynt fyned yn lled gyfoethog, ac mai efe oedd y tlotaf o'r brodyr oll. Yr oedd yntau wedi cael cyfle lawer gwaith i symud o'r lle yr oedd; "ond yn fy myw," medd efe, "y buaswn yn gallu gadael yr achos crefyddol oedd yn y lle hwn." Dywedwyd wrtho y buasai yn hawdd iddo gael achos mwy nag oedd yn y lle hwnw. "Ië," medd efe, "ond nid

allwn i ddim gadael hwn. Yr oeddwn wedi cael rhywbeth yn y lle hwn pan yn lled ieuanc a dawelodd fy meddwl i na byddwn i ddim yn dlawd yn y ddau fyd. Ac ar ol i mi gael gradd o dawelwch meddwl na byddwn ddim yn dlawd yn y byd nesaf, mi gredais y gallaswn fforddio bod yn foddlawn ar y byd a gawn am ychydig flynyddoedd yn anialwch y byd hwn, ac achub y cyfle i ofalu am achos yr Arglwydd. Ac felly er mai myfi yw y tlotaf, ni wnawn newid sefyllfa âg un o'm brodyr." Mae un a fu yn teithio gwledydd yr Aipht a Chanaan yn tystio fod plant Israel wedi gwersyllu yn y lleoedd mwyaf manteisiol bob tro ar eu taith o'r Aipht i Ganaan. A pha ryfedd, pan gofiom fod Duw yn myned o'u blaen i chwilio am le iddynt wersyllu? Felly dichon y bydd llawer cristion, wedi cyrhaedd y nefoedd, yn cael hamdden i adolygu yr hen wersyllfaoedd ar y ddaear, a gweled yr holl ffordd yr arweiniodd Duw hwynt oddiamgylch i beri iddynt ddeall —*dichon*, meddaf, y byddant yn diolch am lawer o bethau y buont yn grwgnach o'u herwydd yn y fuchedd hon. Erbyn gweled y diwedd, byddant yn barod i ddywedyd, "Da y gwnaeth Efe bob peth" o ran dyben a moddion i'w gyrhaedd, ac mai uniawn oedd ffordd Duw i'w harwain i ddinas gyfanneddol. Pan fydd y Duw mawr wedi dirwyn i fyny ei holl orchwyliaethau tuag at y byd hwn, bydd un llef fawr gyffredinol yn esgyn o holl ymherodraeth Duw, "Cyfiawn a chywir yw dy ffyrdd di, Brenin y saint!" Mae gwaith Duw yn gofyn i Job, "Pwy yw yr hwn sydd yn tywyllu cynghor â ymadroddion heb wybodaeth?" yn awgrymu fod rhai o'i ymadroddion ef am orchwyliaethau Duw yn rhai anwyliadwrus. "Gwregysa dy lwynau yn awr fel gŵr; a mynega i mi yr hyn a ofynwyf i ti," medd Duw. "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear? A orchymynaist ti y bore er dy ddyddiau? A ddangosaist ti i'r wawrddydd ei lle? A wyddit ti yna y genid tydi, ac y byddai rhifedi dy ddyddiau yn fawr? A aethost ti i drysorau yr eira? neu a welaist ti drysorau y cenllysg, y rhai a gedwais hyd ddydd ymladd a rhyfel?" "Wele gwael ydwyf fi," medd Job; "pa beth a atebaf i ti? Mi a osodaf fy llaw ar fy ngenau," gan awgrymu y buasai yn dda ganddo pe na buasai erioed wedi agor ei enau mewn un math o feirniadaeth ar drefniadau y fath un â Duw.

Cafodd Jacob, a Pedr, ac eraill, wybod i raddau ddyben gorchwyliaethau Duw tuag atynt yn y bywyd hwn. Ond yn y nef ni bydd neb yn wylo fel y bu Ioan uwch ben llyfr seliedig. "Beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch," medd Mair yn y briodas yn Cana Galilea. Ein dyled ninnau yw ceisio cael allan pa beth y mae Duw yn ei ddywedyd wrthym, ac yna ei wneyd, a gadael y canlyniad i Dduw. Yr hyn a nerthodd yr Arglwydd Iesu yn ngwyneb ei holl ddyoddefiadau ydoedd gweled llaw ei Dad tu draw i bob ail achosion. "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?" Glân buro ei blant oddiwrth eu holl sothach yw dyben holl ymddygiadau Duw tuag atynt.

Holwn ein hunain,

1. A oes genym wir ddymuniad am fod yn *lân?* Gall y dymuniad am fod yn ddedwydd dyfu mewn natur heb ei chyfnewid; ond am y dymuniad byw a didwyll am fod yn lân, ni thyfodd hwnw erioed yn ein natur lygredig ni, ac ni roddodd y diafol erioed mo hono yn ein calonau. Rhaid addef fod llawer o ddymuniadau meirw—heb fod yn ddigon byw i godi dyn i ymdrech priodol i gyrhaedd y tir y mae efe yn ei ddymuno, yr hwn ni wna ond siomi ei berchenog. Ond y mae gwir ddymuniad byw am fod yn lân, yn ernes y caiff y neb sydd yn ei feddu rywbryd fod yr hyn y mae efe yn dymuno bod.

2. A ydym yn dymuno bod yn *gwbl* lân? Un o nodweddion y galon newydd ydyw ei bod yn galon dyner. Mae y llygad yn wylo yn barhâus tra mae y brycheuyn lleiaf ynddo; felly mae y neb sydd yn feddiannol ar y galon newydd, dyner, o roddiad Ysbryd Duw, yn rhyw alaru yn barhâus tra bydd ynddo unpeth yn groes i ddelw Duw.

3. A ydym yn foddlawn i Dduw gymeryd ei ffordd ei hun i ddwyn i ben ein llwyr lanhâd, ac i ddywedyd gyda Phedr, "Arglwydd, nid fy nhraed yn unig, eithr fy nwylaw a'm pen hefyd?"

Tywyllwch yma sydd
 O'n hamgylch ar bob llaw;
Ond goleu perffaith fydd
 Ar bobpeth ddydd a ddaw:
Rhown ein hymddiried yn ein Duw;
Dywedwn, Doeth, daionus yw!

## RHWYSTRAU I GYFFESU CRIST.

*Gan y Parch.* THOMAS HUGHES, *Kenchester.*

IOAN xii. 42, 43: "Er hyny llawer o'r penaethiaid hefyd a gredasant ynddo; ond oblegid y Phariseaid ni chyffesasant ef, rhag eu bwrw allan o'r synagog. Canys yr oeddynt yn caru gogoniant dynion yn fwy na gogoniant Duw."

YR oedd gwyrthiau ac athrawiaeth Crist wedi argyhoeddi amryw o'r penaethiaid mai efe oedd y Messïah, ond nid oeddynt yn ddigon gwrol i'w gyffesu, "rhag eu bwrw allan o'r synagog." Yr oedd yr Iuddewon wedi cydordeinio eisoes, os cyfaddefai neb ef yn Grist, y bwrid ef allan o'r synagog. Hyn oedd y rheswm i lïaws oedd yn bleidiol iddo beidio llefaru yn eglur o'i blaid. Yr oedd gwahanol dybiau yn cael eu coleddu gan wahanol ddynion am dano, ac weithiau byddai dadl yn codi ymhlith y bobl yn ei gylch. Taerai rhai mai gŵr da ydoedd, eraill a daerent mai dyn drwg yn twyllo y bobl ydoedd. Er hyny ni lefarodd neb o'r cyfryw bleidwyr yn eglur am dano ef rhag ofn yr Iuddewon; rhag ofn iddynt gael eu hesgymuno o'r synagog ganddynt.

Mae llawer iawn o ddynion yn ddiammeu y dyddiau hyn yn debyg i'r penaethiaid hyn, heb ddewrder digonol i weithredu yn ol argyhoeddiad eu cydwybodau mewn perthynas i Grist a'i achos. Maent yn hollol argyhoeddedig mai Iesu Grist ydyw unig Waredwr y byd, ac hefyd fod yn rhaid iddynt hwy gael eu hachub ganddo ef rywbryd neu gilydd, neu gael eu colli byth; eto o herwydd rhywbeth, ni roddant eu hunain iddo, ni arddelwant ei enw, ni ddeuant yn ddysgyblion iddo. Hwyrach fod rhai o ddarllenwyr y DRYSORFA felly. Mae y cyfryw yn credu *am* Grist, yn credu ei fod yn Fab Duw, yn credu ei fod wedi dyfod i'r byd i gadw pechaduriaid; ond o herwydd rhywbeth, nid ydynt yn credu *ynddo,* nid ydynt yn ei gyffesu, nid ydynt yn cymeryd ei iau arnynt, nid ydynt yn dadgan drwy ymarweddiad a phroffes gyhoeddus, "Fy Anwylyd sydd eiddof fi, a minnau yn eiddo yntau."

Carem ddyfod o hyd i'r pethau sydd yn attal llïaws o wrandäwyr cyson yr efengyl i gysegru eu hunain i Grist a chyffesu ei enw yn ngwydd dynion, er mwyn ceisio eu symud ymaith.

Nodwn rai pethau y mae dynion yn caniatâu iddynt eu rhwystro i gyffesu Crist.

1. *Yr aberthau sydd yn ofynol eu gwneyd er cyffesu Crist.* Y mae aberthau i'w gwneyd. Nid ydym am wadu na chwaith guddio y ffaith. Gwirionedd diddadl yw fod yn rhaid i wir ddysgyblion yr Arglwydd Iesu aberthu llawer iawn o bethau er ei fwyn. Fe allai y tybia llawer fod y gwaith o aberthu ynglŷn â chrefydd wedi llwyr ddarfod—nad oes dim aberthu o gwbl i fod dan yr oruchwyliaeth hon. Wel, os felly yr ydych chwi yn tybied, yr ydych yn sicr o fod yn cyfeiliorni. O drugaredd, nid rhaid offrymu aberth dros bechod mwyach; "canys hyny a wnaeth Crist unwaith pan offrymodd Efe ef ei hun." Ond er hyny y mae aberthu yn bod eto. Mae y bywyd y mae'r pechadur yn ei gael trwy rinwedd aberth Crist yn fywyd o hunanaberthiad. Mae'r cristion yn rhoddi ei hun yn aberth byw, sanctaidd, cymeradwy gan Dduw, yr hyn yw ei resymol wasanaeth ef. Os bydd i chwi ddyfod yn wir ganlynwyr Iesu Grist, bydd yn rhaid i chwi aberthu pob arferiad pechadurus, pob pleser cnawdol, a phob cydymaith annuwiol. Mae Iesu Grist yn dyweyd yn eglur, "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi." Mae yn rhaid aberthu pob peth er ei fwyn ef. Gwaith anhawdd ydyw hyn, mae yn wir. Rhaid wrth wroldeb a phenderfyniad, a chymhorth Ysbryd Duw, i'w gyflawni. Ond y mae yn rhaid ei wneyd, a'i wneyd yn llawen, er mwyn bod yn wir ddysgyblion i Grist. Llïaws sydd wedi gorfod aberthu cyfeillion hoff, cartrefleoedd cysurus, rhieni anwyl, rhagolygon dysglaer, ïe eu bywyd hefyd, er mwyn Crist. Mae genym esiamplau nodedig yn y Bibl o ddynion yn aberthu llawer iawn o bethau gwerthfawr er mwyn cydwybod a chrefydd. Darfu i Moses ymwrthod â llys Pharaoh er mwyn cael cymdeithas y saint. Rhoddodd i fyny bleserau, trysorau, ac anrhydedd yr Aipht er mwyn cael addoli y gwir Dduw yn ol argyhoeddiad ei gydwybod. "Trwy ffydd, Moses, wedi myned yn fawr, a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh, gan ddewis yn hytrach oddef adfyd gyda phobl Dduw na chael mwyniant pechod dros amser; gan farnu yn fwy golud ddirmyg Crist na thrysorau yr Aipht, canys edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gobrwy." Aberthodd yr apostol Paul ei holl freintiau Iuddewig er mwyn Crist. "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist. Ië yn ddiammheu, yr wyf yn cyfrif pob peth yn golled, o herwydd ardderchogrwydd gwybodaeth Crist Iesu fy Arglwydd, er mwyn yr hwn y'm colledwyd ymhob peth, ac yr wyf yn eu cyfrif yn dom fel yr ennillwyf Grist." A chofiwn mai nid ychydig oedd y pethau a aberthwyd ganddo ef, ac nid pethau dibwys oeddynt chwaith; ond yr oeddynt yn llawer ac yn werthfawr iawn, yn bethau ag yr oedd efe wedi arfer meddwl yn

fawr iawn o honynt, ac yn bethau a fuasai yn sicrhâu iddo gyfoeth lawer, ac anrhydedd daearol uchel. Ond efe a aberthodd y cwbl er mwyn Crist. Yr oedd yn barnu fod cael Crist yn eiddo iddo yn anfeidrol fwy gwerthfawr na'r oll y gallasai ei freintiau Iuddewig eu sicrhâu iddo. Gallwn fod yn sicr y bydd i Grist wneyd i fyny am y cwbl y bydd raid i ni adael er ei fwyn. "Yn wir meddaf i chwi, Nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu rieni, neu frodyr, neu wraig, neu blant, er mwyn teyrnas Dduw, a'r ni dderbyn lawer cymaint yn y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol."

Wel, a adewch chwi, ynte, i'r aberthau gofynol eu gwneyd er mwyn Crist eich rhwystro i ddyfod yn ddysgyblion iddo? O herwydd fod y porth yn gyfyng a'r ffordd yn gul ag sydd yn arwain i'r bywyd, a fydd i chwi benderfynu peidio ymdrechu myned i mewn? A ydych wedi penderfynu i hunangarwch eich lluddias i fwynhâu bywyd tragywyddol? Er mwyn dedwyddwch amserol a thragywyddol eich eneidiau, peidiwch gadael i'r aberthau sydd ynglŷn â chysegriad o honoch eich hunain *i Grist* eich rhwystro i wneyd hyny. "Am hyny, os dy law neu dy droed a'th rwystra, tor hwynt ymaith a thafl oddiwrthyt; gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn gloff, neu yn anafus, nag â chenyt ddwy law neu ddau droed dy daflu i'r tân tragywyddol. Ac os dy lygad a'th rwystra, tyn ef allan a thafl oddiwrthyt; gwell yw i ti yn unllygeidiog fyned i mewn i'r bywyd, nag â dau lygad genyt dy daflu i dân uffern."

2. *Y profedigaethau y mae cyffesiad o Grist yn gwneyd dynion yn agored iddynt.* Yr oedd y penaethiaid yn ofni cyffesu Crist rhag eu bwrw allan o'r synagog, ac yr oeddynt yn ystyried hyn yn ormod o brofedigaeth i'w dyoddef er mwyn y Gwaredwr. Y mae gorthrymderau i'w dysgwyl ynglŷn â phroffes gyhoeddus o Iesu Grist. Mae yr Arglwydd am i bob un sydd yn meddwl ei ganlyn ystyried hyn. Ar un achlysur, rhyw ysgrifenydd a ddaeth ac a ddywedodd wrtho, "Athraw, mi a'th ganlynaf i ba le bynag yr elych. A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Y mae ffauau gan y llwynogod, a chan ehediaid y nefoedd nythod; ond gan Fab y dyn nid oes le i roddi ei ben i lawr." Os ydwyt yn penderfynu fy nghanlyn i, mae yn rhaid i ti fod yn barod i ddyoddef tlodi ac adfyd, canys yr ydwyt yn sicr o'u cyfarfod os dilyni fi. Dro arall, dywedodd wrth ei ddysgyblion, "Yn y byd gorthrymder a gewch." Yr ydym wedi cael ein hysbysu mai "trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." Rhaid i filwyr Iesu Grist oddef cystudd. Mae ei ddysgyblion ef ymhob oes o'r byd wedi gorfod myned trwy lawer o orthrymderau ar eu ffordd i'r nefoedd. Ac os bydd i chwithau ddyfod yn ddysgyblion iddo, bydd yn rhaid i chwi ddyoddef cystuddiau a blinderau, diystyrwch, dirmyg a gwawd y byd. Bywyd o ymdrech yn erbyn anhawsderau ydyw bywyd y dyn duwiol ar y ddaear.

Mae y gorthrymderau hyn yn angenrheidiol. Drwy y rhai hyn y mae Duw yn nithio ei wenith er ei wahanu oddiwrth yr us. Dyma y ffwrneisiau ymha rhai y mae y Barnwr Dwyfol yn puro ei arian. Mae profedigaethau yn ein cyfarfod "er lleshâd i ni, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef." Y maent wedi eu bwriadu i'n diddyfnu ni oddiwrth y byd a'n tywys at Dduw. Nis gwnaeth y dylif ddim niwed i'r arch, chwaithach i Noah oedd ynddi; ond codi yr arch a wnaeth yn nês i'r nefoedd. Fel yr oedd y dwfr yn codi, yr oedd yr arch yn codi nês nês i'r nef. Felly y mae cystuddiau a phrofedigaethau i'r saint yn eu codi i fyny yn nês at Dduw, i gymdeithas fwy agos âg ef, ac i fwynhâd mwy cyflawn o hono. Mae genym esiamplau dysglaer o bobl dduwiol wedi dyoddef profedigaethau chwerwon iawn mewn canlyniad i'w cydwybodolrwydd a'u ffyddlondeb i Dduw. Cafodd Nehemiah a'i gydgynnorthwywyr eu gwawdio a'u dirmygu, ond er hyny parhausant i adeiladu y deml Cafodd y llanciau eu bwrw i'r ffwrn danllyd boeth, eto daliasant gyffes eu gobaith yn ddisigl. Taflwyd Daniel i ffau y llewod, ond efe a lynodd yn ffyddlawn yn ei Dduw.

A gaiff gorthrymderau eich rhwystro chwi i gysegru eich hunain i Dduw a'i wasanaeth? Pa orthrymderau bynag a'ch cyferfydd mewn canlyniad i roddi eich hunain i'r Arglwydd, y mae efe yn sicr o roddi nerth i chwi i'w dyoddef. "Ffyddlawn yw Duw, yr hwn ni âd eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch, eithr a wna ynghyd â'r demtasiwn ddiangfa hefyd fel y galloch ei dwyn." A ydych yn tybied y bydd i chwi ddianc gorthrymderau trwy beidio proffesu Crist? A ydych yn cadw draw oddiwrth grefydd rhag ofn i ddynion eich bwrw allan o'u cymdeithas? A ydych wedi rhoddi ystyriaeth ddifrifol i ganlyniadau ofnadwy a thragywyddol y bwrw allan sydd yn sicr o ganlyn gwrthod Crist? Dwys fyfyriwch eiriau Iesu Grist ar y mater: "A phwy bynag a'm gwado i yn ngŵydd dynion, minnau a'i gwadaf yntau yn ngŵydd fy Nhad yr hwn sydd y nefoedd." Mae peidio gwneyd proffes o Grist yn arwain i drueni tragywyddol.

3. *Anghysondeb bywyd rhai o broffeswyr crefydd.* Fe ddylai y rhai sydd yn cyfenwi eu hunain ar enw Crist ymdrechu i

fyw yn ol Crist, neu roddi i fyny eu proffes. Mae yn eithaf têg i'r byd ddysgwyl i broffeswyr crefydd fyw yn well na phobl dibroffes. Hwy a ddylent fod yn halen y ddaear, yn oleuni y byd, yn ddinas ar fryn. Dylai "eu goleuni lewyrchu ger bron dynion fel y gwelont eu gweithredoedd da ac y gogoneddont ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Dylai eu hymarweddiad fod yn gyfryw, fel y byddai yn eglur mai "llythyr Crist" ydynt.

Ond os nad ydynt felly, a ydyw hyny yn rhyw reswm dros i chwi beidio rhoddi eich hunain i Dduw? A ydych yn teimlo ac yn gweithredu felly mewn perthynas i bethau eraill? A ydych yn ystyried anonestrwydd dynion eraill yn ddigonol reswm i chwi fod yn anghyfiawn? Wel, paham ynte yr ystyriwch anffyddlondeb rhai proffeswyr crefydd yn ddigon o reswm dros i chwi fod yn anffyddlawn? Yr ydym yn gwybod, fel y mae gwaethaf modd, fod cymeriadau llawer o grefyddwyr yn hollol anghyson â'u proffes; ac y mae hyn yn peri tramgwydd i lïaws. Nid oes dim yn gymaint o rwystr i lwyddiant crefydd na bywyd anghrefyddol aml un sydd yn ei phroffesu. Mae eu hanghrefyddolder yn foddion i droi y cloff allan o'r ffordd, ac yn rhoddi achlysur i'r gelynion gablu. Ond nid ydyw y ffaith fod gaugrefyddwyr i'w cael ddim yn gwneyd eich cyflwr chwi yn fwy diogel, neu yn un esgusawd dros i chwi beidio rhoddi eich hunain i Grist. A ydych chwi yn myned i beryglu eich iachawdwriaeth dragywyddol o herwydd eich bod yn canfod rhai yn rhagrithio? O herwydd nad ydyw eraill yn gogoneddu Duw, a ydyw hyny yn rhyw reswm dros i chwi beidio ei ogoneddu ef? O herwydd fod eraill yn esgeuluso iachawdwriaeth eu heneidiau, a ydyw hyny yn esgusawd teg dros i chwi esgeuluso eich iachawdwriaeth? A ydych yn bwriadu cyflwyno esgusion o'r fath yna ger bron y Barnwr yn y dydd olaf? Pa mor anghyson bynag y gallwn ganfod eraill yn byw, ein dyledswydd ni ydyw bod yn ddilynwyr Crist.

4. Peth arall sydd yn rhwystro rhai i gyffesu Crist ydyw *ofn eu hanalluogrwydd i gyflawni y dyledswyddau sydd ofynol oddiwrth wir ganlynwyr Crist.* Y mae dyledswyddau i'w cyflawni. Mae proffes grefyddol yn cynnwys gwasanaeth. Gweithwyr ac nid segurwyr ydyw gwir ganlynwyr yr Iesu. Lleferydd cyntaf yr enaid argyhoeddedig yw, "Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" O'r fynyd yr achubir y pechadur, y mae yn dyfod yn wasanaethwr Iesu Grist. Mae yn ymhyfrydu yn ngwasanaeth ei Achubwr. Mae y diafol yn ceisio perswadio dynion i gredu mai gorchwyl anhawdd ydyw gwasanaethu Duw, mai meistr caled ydyw, anhawdd ryfeddol ei foddloni; ond celwyddwr yw y diafol o'r dechreuad, ac ynfydrwydd yw gwrando arno. Mae iau Crist yn esmwyth, a'i faich yn ysgafn. Mae y bywyd ysbrydol y mae ei ddysgyblion yn ei feddu yn gwneyd gwasanaeth Crist yn hyfrydwch iddynt.

Ni ddylai ofn rhag methu cyflawni dyledswyddau crefyddol eich rhwystro chwi i ddyfod at grefydd, canys y mae yr Arglwydd yn addaw ein cynnorthwyo. "Cyfarfyddi â'r hwn sydd lawen, ac a wna gyfiawnder, y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant di." "Digon i ti fy ngras i," medd yr Arglwydd, "canys fy nerth a berffeithir mewn gwendid." Crediniaeth gref yn nghynnorthwy Duw a alluogodd Nehemïah a'i gyfeillion i barhâu yn ffyddlawn yn wyneb cymaint o wrthwynebiadau. Pan ddarfu i Sanbalat, a Thobïah, ac eraill, eu gwatwar a'u dirmygu, a cheisio eu rhwystro i fyned yn y blaen gyda eu gwaith, hwy a atebasant, "Duw y nefoedd, efe a'n llwydda ni; a ninnau ei weision ef a gyfodwn ac a adeiladwn." Os bydd i ni ymroddi i wasanaethu Duw yn ein gwahanol gylchoedd, mae efe yn sicr o'n cynnorthwyo. Ac oni ddylai yr ystyriaeth o'r hyn y mae Iesu Grist wedi ei wneyd drosom ni, ein cymhell i weithio yn egnïol drosto ef? Er mor anhawdd oedd y gwaith a ymgymerodd efe i'w gyflawni, ac er cymaint yr anhawsderau, ni lwfrhäodd ac ni ddigalonodd, ond daliodd i weithio nes gorphen ei waith. Oni ddylai cariad Crist ein cymhell i ymgysegru yn llwyr i'w wasanaeth? Ac y mae gwobr yn addawedig i'w weision ffyddlawn. "O'u cadw," sef y gorchymynion, "y mae gwobr lawer." Nid yn unig y mae gwobr ar ol eu cadw, ond y mae gwobr *o'u* cadw. Mae gwasanaeth Crist yn awr yn rhoddi hyfrydwch annesgrifiadwy. Ond yr ydym yn cael ein hannog i ddysgwyl llawer mwy yn y dyfodol. Mae etifeddiaeth anllygredig a dihalogedig a diddiflanedig yn nghadw gan Dduw yn y nefoedd i'w bobl.

5. Peth arall sydd yn rhwystro rhai i gyffesu Crist yw *sefyllfa isel y rhan fwyaf o'i ganlynwyr.* Mae yr un ysbryd balch a hunanol oedd yn yr archoffeiriaid a'r Phariseaid pan ofynasant i'w swyddogion, "A hudwyd chwithau hefyd? A gredodd neb o'r penaethiaid ynddo ef, neu o'r Phariseaid?" yn fyw eto ac yn cael ei amlygu yn aml. Mae sefyllfa isel achos Iesu Grist yn y gymydogaeth, a thlodi ei ganlynwyr, yn dramgwydd i aml un. A ydyw hyn yn rhwystr i chwi? Os felly, pe buasech chwi ar y ddaear yn amser Crist, mae yn debyg iawn y buasech chwi yn uno â'r Phariseaid i'w erlid a'i gon-

demnio, oblegid tlodion oedd y mwyafrif mawr o'i ganlynwyr ef y pryd hwnw fel yn bresennol. Ond os ydyw ei ganlynwyr ef yn dlawd o ran pethau y byd hwn, gwrandewch, "Oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas, yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef?"

Wel, a gaiff rhai o'r pethau a nodwyd eich rhwystro chwi i fod yn ganlynwyr Crist? Ni ddylai dim gael ei oddef i'ch rhwystro i roddi eich hunain yn gwbl oll i'r Arglwydd. Mae efe yn eich ceisio. Ysbryd yr Arglwydd a'ch perswadio i gydsynio â'i gais. Amen.

---

# FFYDD.

*Sylwadau Agoriadol ar y mater yn Nghyfarfod Misol Arfon.*

GAN y Parch. J. OWEN JONES, *Capelcoch, Llanberis.*

GEIRIAU cyntaf un o awduron duwinyddol *euwocaf yr oes* hon am ffydd ydyw, ei bod yr ymarferiad neu y gweithrediad cyntaf o eiddo yr enaid ailanedig, fel mai gweithred gyntaf y dyn a anesid yn ddall, ar ol cael agoriad llygaid, ydoedd gweled. Tra y mae un rhan o'r sylw yn ein dwyn i ganol y ddadl pa un ai y cyfiawnhâd ynte yr ailenedigaeth sydd gyntaf mewn trefn, yr hyn ni pherthyn i'n hamcan presennol i'w ystyried, y mae yn y rhan arall gymhorth i ni weled beth sydd i'w ddeall wrth ffydd, neu o'r hyn lleiaf beth ydyw un o'r lliaws dylanwadau rhagorol sydd yn dilyn y meddiant gwirioneddol o honi. Dyma ydyw hwnw: dygir yr enaid trwyddi hi *i weled yn ysbrydol.* Y mae yn cael ei hunan mewn byd newydd mor fuan ag yr agorir ei lygaid trwy adnewyddiad yr Ysbryd Glân. "Yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Yn ngrym y gras o ffydd, dygir yr enaid i weled ei hunan, i weled Duw, ac i weled ei berthynas â Duw ac â'r byd ysbrydol, mewn goleuni hollol wahanol i ddim a feddyliodd erioed o'r blaen.

Y mae ystyriaeth feddylgar o ffydd ar unwaith yn rhwym o ddangos i ni eangder a phwysigrwydd y pwnc. Sicrheir i ni fod y gras hwn yn oll-bwysig pan ystyriom y lle mawr a roddir i ffydd yn y Bibl, fel y dangosir ynddo fod holl addewidion Duw yn gyfeiriedig yn unig i *gredinwyr,* yn gystal â'r gwirionedd fod holl ymarferiadau y bywyd ysbrydol yn unig yn bosibl trwy ffydd.

Ond y mae eangder y mater yn peri fod yn anhawdd ymdrin â'r pwnc mewn cylch fel hyn yn deilwng o'r pwysigrwydd a berthyn iddo; a'r cwbl a fwriedir yma ydyw awgrymu cyfeiriadau i ymdriniaeth fanylach, ac felly yn unig geisio ei agor i feddyliau galluocach ac addfetach fyned i mewn iddo.

Y mae ateb y cwestiwn, Beth ydyw ffydd? yn perthyn llawn cymaint i'r athronydd ag ydyw i'r duwinydd. Ond a chyfyngu ein hunain i'w wedd dduwinyddol, y mae yn cael ei dwyn i'n sylw mewn agweddau mor amrywiol a gwahanol fel gwir fywyd holl gylch moesoldeb a chrefydd, fel gras achubol yn yr efengyl, ac yn enwedig ei pherthynas â'r grasusau eraill, fel y cyfarfyddir âg anhawsder mawr o fedru rhoddi darnodiad llawn a chryno o'r hyn ydyw mewn gwirionedd. Yn y cysylltiad hwn mae yn deilwng o sylw nad ydyw y Bibl, sydd yn son cymaint am, ac yn rhoddi y fath le mawr i ffydd, o gwbl yn ymgymeryd â dyweyd beth ydyw mewn ffordd o ddarnodiad cyffredinol o honi. Y mae yn wir y dywedir yn y llythyr at yr Hebrëaid mai "ffydd ydyw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled;" ond y mae mor wir a hyny mai darnodiad ydyw hwn o ffydd fel y mae yn cyfarfod â rhwystrau ac anhawsderau y daith ysbrydol—ffydd fel y cyferfydd â'r amgylchiadau y ceir pobl yr Arglwydd ynddynt yn y byd hwn.

Priodol, gan hyny, ydyw ymofyn, Beth all fod y rheswm am y dystawrwydd hwn o eiddo y Bibl? Y mae yn dyweyd wrthym bron bobpeth am ffydd; portreada ei Gwrthddrych, eglura ei seiliau, a dengys y bywyd, yr heddwch, a'r llawenydd a ddwg hi i'r enaid er cymhell pechaduriaid i'w cheisio, ac fel moddion i'w derbyn i'r enaid trwy yr Ysbryd Glân; ond yn yr oll a ddywedir, nid ydyw o gwbl yn dyweyd beth ydyw ffydd ei hunan. Dichon fod un rheswm, os nad y penaf, am y dystawrwydd hwn, i'w gael yn *symledd* ffydd. Y mae yn rhy syml ynddi ei hunan i fedru dyweyd mewn geiriau beth ydyw. Y mae derbyn tystiolaeth, ac ymddiried neu ymorphwys ar y dystiolaeth hono, yn beth i'w ddeall trwy ei wneyd, yn hytrach na thrwy siarad llawer am dano. Y mae pob dyn yn byw trwy anadlu; ond digon prin y gallai neb ddyweyd wrth arall beth ydyw anadlu. O leiaf, bydd un anadliad o eiddo y dyn ei hun yn well eglurhâd iddo ef arno na phe darllenai y traethawd mwyaf dyfnddysg a dyhysbyddol a wnaed erioed ar athroniaeth y mater. Felly am ffydd: y mae ei deall yn iawn yn gynwysedig mewn ymarferiad o'r hyn sydd hanfodol iddi: derbyn tystiolaeth, ac ymddiried ein hunain mewn ymorphwysiad

arni. Fel y clywsom un gweinidog hybarch yn dyweyd am gredu fel gweithrediad ffydd, yn ei ddull tarawiadol ei hun, "Y mae credu mewn *dymuno* credu—y mae credu mewn *treio* credu—ïe, y mae credu weithiau mewn *methu* credu;" yr enaid trwy fethu yn treio, ac er treio yn methu, ond rhywle yn y cyfwng yna rhwng y methu a'r treio, a'r treio a'r methu, yn gwneyd yr act hono o gredu sydd yn cadw ei enaid i fywyd tragywyddol. Felly yn lle athronyddu ynghylch ffydd, ei haddaw a'i rhoddi y mae Duw yn y Bibl, gan adael iddi hi ei hunan, yn ei gweithrediadau yn yr enaid, egluro pa beth ydyw mewn gwirionedd.

Dysgir i ni, pa fodd bynag, fod tri pheth yn hanfodol i wir ffydd; gwybodaeth, cydsyniad, ac ymddiried. Drychfeddwl hanfodol ffydd ydyw ymddiried neu ymorphwysiad ar dystiolaeth; ond rhaid i'r ymddiried beidio bod yn ddall a disail, eithr yn gydsyniad o eiddo yr enaid; ac nis gall un cydsyniad fod yn deilwng o ymddiried ond a fyddo yn seiliedig ar fesur boddhaol o wybodaeth ac amgyffrediad o'r gwirionedd neu y Person yr ymddiriedir ynddo. Mewn trefn i'r enaid gael ei ddwyn i'r sefyllfa hon o ffydd, y mae yn anghenrheidiol iddo wrth fesur o wybodaeth i ddechre. Y mae ffydd yn y wedd hon arni yn cynnwys dirnadaeth yn y deall am ogoniant trefn Duw i gadw. Y mae yn "oleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist." Egyr hyn o'n blaen y cwestiwn pa mor bell y mae ffydd yn *act* o eiddo y deall, a pha mor bell y mae yn *act* o eiddo yr ewyllys. Heb fyned i mewn iddo yn fanwl, y mae yn amlwg fod y wybodaeth anghenrheidiol yn ei gwneyd yn weithrediad o eiddo y deall, tra y mae y cydsyniad a'r ymddiried a berthyn iddi yn peri ei bod yn *act* neillduol o eiddo yr ewyllys. Llefara y Bibl weithiau am wybodaeth fel yn gyfystyr â ffydd, megys yn y geiriau hyny, "Ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd, fel y gwybyddoch ac y credoch fod y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau." "Ac wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef, os cadwn ni ei orchymynion ef." O ran hyny, ceir yn y Bibl gyfeiriadau at wybodaeth sydd yn arwain i, ac sydd yn rhan o ffydd, a gwybodaeth sydd yn tarddu o, ac yn dilyn gweithrediad ffydd. Yr olaf a geir yn atebiad Pedr i'r Arglwydd Iesu, pan y dywedodd, "Yr ydym ni yn credu ac yn *gwybod* mai ti yw y Crist, Mab y Duw byw." Yr oedd Pedr wedi gwybod rhywbeth a rhywfaint cyn ac mewn trefn i fedru credu; ond trwy gredu y daeth i wybod yn brofiadol ac ysbrydol yn nyfnder ymwybyddiaeth ei enaid, a ddaeth i fod yn rhan anwahanol o'i hanfodaeth. "Ni a *wyddom* ddyfod Mab Duw, ac Efe a roes i ni feddwl, fel yr adnabyddom yr hwn sydd gywir; ac yr ydym ni yn y Cywir hwnw, sef yn ei Fab ef, Iesu Grist. Hwn yw y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol." Gwybodaeth brofiadol ydyw hon yn tarddu yn unig o a thrwy ffydd. Ond y wybodaeth sydd genym ni dan sylw yn bresennol ydyw y wybodaeth anghenrheidiol i iawn-weithrediad ffydd, y wybodaeth a gynnwysa ddirnadaeth o'r Gwrthddrych fel gwirionedd er galluogi yr enaid i gydsynio âg ef, ac ymddiried ynddo. Y mae ystyr y gair Cymraeg *gwybodaeth* yn esbonio ei le ynglŷn â ffydd,—gŵydd-bodaeth; *aeth* neu y ddysg sydd yn dwyn yr enaid i *wyddfod* neu bresennoldeb *bôd* yr oedd er ei fod gydag ef ac yn cael ei wneyd i fyny o hono er ei enedigaeth, yn hollol ddyeithr iddo fel y cyfryw. Rhaid dwyn y dyn i'w wyddfod ei hunan fel pechadur colledig, i wyddfod Duw fel Bôd cyfiawn a sanctaidd, ac i wyddfod Iesu Grist fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, fel man y gall pechadur colledig a Duw cyfiawn gyfarfod â'u gilydd mewn cymmod a maddeuant; ei ddwyn felly trwy amgyffrediad a dirnadaeth i ŵydd bodolaeth newydd y gall gydsynio âg ef ac ymddiried ynddo. Y mae gwybodaeth, gan hyny, yn hanfodol i wir ffydd; a dylai yr ystyriaeth hono beri ein bod yn gwneyd ein goreu i gynnyrchu ac i ychwanegu gwir lafur am wybodaeth, ac yn enwedig y wybodaeth uchaf, fel y byddo gan ein gwrandawyr yn gyffredinol y ddirnadaeth hono am drefn cadwedigaeth a fyddo yn debyg o'u harwain i roddi eu hunain trwy ffydd yn gwbl oll i'w gofal a'i diogelwch.

2. Y mae y wybodaeth yn y deall yn arwain i gydsyniad yr enaid â'r gwrthddrych, yn ddysgwyliad ac yn hyder am dderbyniad, maddeuant, a chyfiawnder oddiwrth Dduw yn ei drefn. Wedi gwybod y gwirionedd am dano ei hun ac am Dduw, y mae yr enaid, ar sail ffyddlondeb Duw fel y dysgir ef yn y Datguddiad Dwyfol, ar sail profiad personol o allu y gwirionedd a thystiolaeth yr Ysbryd Glân, yn cydsynio â'r gwirionedd fel y peth cyfaddasaf o bobpeth ar gyfer ei holl eisieu. Ceir fod y wybodaeth ysbrydol hon yn ennill cydsyniad yr enaid fel y mae yn sicrhâu yr enaid mai *gwirionedd* ydyw y dystiolaeth; ac nid gwirionedd yn yr egwyddor o hono, ond gwirionedd yn hanfodi mewn Person byw y gall enaid euog ymaflyd ynddo ac ymddiried ei hunan iddo. Felly yn yr olwg ar yr hyn ydyw y Person ynddo ei hunan, a'r gwneyd a fu arno "gan Dduw i ni yn ddoethineb, ac yn gyfiawnder, ac yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth," ac y mae yr enaid o ang-

hanfeidrwydd yn cydsynio âg ef ac yn ei dderbyn. Ac yn y derbyniad hwn o'r Gwrthddrych y mae yn ymddiried ynddo, ac yn ymorphwys arno yn unig am arbediad a diogelwch.

3. Daw ffydd felly, yn y lle diweddaf, i fod yn ymorphwysiad ar drefn Duw am iachawdwriaeth, gydag ymwrthodiad hollol â phobpeth arall. Dyma, gan hyny, ydyw ffydd yn ei hanfod mawr: *ymddiried ac ymorphwysiad*, a'r ymddiried hwn yr uchaf o ran ei natur y gellir meddwl am dano, fel y mae yn ymddiried trwy gydsyniad yr enaid ar sail gwybodaeth o'r drefn y mae trwy ffydd yn ymorwedd arni. Ymorphwysiad ydyw ar arall nes tawelu ynddo mewn llawn foddlonrwydd.

Y mae yr ystyr yma i ffydd yn dangos ei bod y cyfaddasaf o'r holl rasusau i fod yn gyfrwng derbyniad o drefn Duw am fywyd. Ynddi hi y ceir eglurhâd llawn a boddhaol ar yr anhawsder i gysoni graslonrwydd y drefn ar y naill law â galwad yr efengyl ar bechadur i gredu fel gwaith Duw yn ffordd ei iachawdwriaeth. Y mae yr eglurhâd hwn yn gynnwysedig mewn ystyried dau beth. Yn gyntaf, egwyddor *hanfodol* gweithred, fel y mae yn haeddu neu yn hawlio gwobr neu gosb, ydyw fod cysylltiad angenrheidiol ac hanfodol rhyngddynt â'u gilydd yn naturiol. Dyma wir berthynas gwaith a chyflog bob amser. Y mae mor angenrheidiol i'r meistr wrth y gweithiwr ag ydyw i'r gweithiwr wrth y meistr. Nid oes yn eu perthynas ond cyfnewidiad aur ac arian ar un llaw am lafur corfforol a meddyliol ar y llaw arall, a'r ddau mor hanfodol â'u gilydd i lwyddiant y ddwyblaid yn y cyttundeb. Ond ynglŷn â threfn Duw yn yr efengyl, nid ein hanghen ni fel y cyfryw oedd ar yr Anfeidrol mewn trefn i fod yn ddedwydd. Yr oedd Efe yn berffaith ddedwydd ynddo ei hunan erioed; a buasai yn dragywyddol ogoneddus yn namnedigaeth holl ddynolryw dan bechod dros byth. Felly, o anghenrheidrwydd, daw credu, fel gweithrediad ffydd, i fod yn weithred a ordeiniwyd gan benarglwyddiaeth a gras Duw yn ffordd bywyd tragywyddol pechadur; a chan mai gras a'i hordeiniodd, nis gall haeddiant y weithred byth godi uwchlaw y gras anfeidrol hwn yn yr oll a wna. Ond nid ydyw dyweyd mai dyma osodiad penarglwyddiaethol Duw yn ddigon i'r wedd ar y mater sydd dan ein sylw yn bresennol. Y mae rhyw reswm yn bod dros mai fel hyn yr ordeiniodd Duw iddi fod. Y cwestiwn sydd yn galw am atebiad er profi y cyfaddasder hwn ydyw, Paham ffydd, ac nid cariad neu obaith, a osodwyd gan benarglwyddiaeth yn gyfrwng sicr derbyniad o drefn bywyd i bechadur? Ymddengys yr ordeiniwyd ffydd gan Dduw yn ddolen gydiol pechadur â threfn Duw, am mai dyma y gras o'r holl rasusau oedd yn ddigon mawr i gyfarfod ar unwaith â dau eithafion cyflwr drwg pechadur: hunan-hyder neu hunan-orfoledd ar y naill law, ac anobaith ar y llaw arall. Y mae ffydd ar unwaith yn cau allan bob hunan-hyder a gorfoledd, ac ar yr un pryd yn ddigon effeithiol i ddwyn y drefn yn ddigon agos at bechadur, fel na raid i'r penaf anobeithio. "Am hyny o ffydd y mae, fel y byddai o ras;" ac o ras "fel y byddai yr addewid yn sicr i'r holl had."

Trefn yn gwbl o ras ydyw; ac am hyny rhaid i holl gyfryngau y drefn gyfranogi o'r un graslonrwydd. Buasai iddi fod fel arall yn ddinystr ar ei tharddiad o ras a phenarglwyddiaeth Duw. Beth bynag sydd mewn ffydd, y mae yn amlwg nad oes ynddi haeddiant, na dim tebyg i hyny, oblegid mai cyfiawnhâu yr *annuwiol* y mae Duw trwy ffydd. Y mae felly ar y pryd. Nid oes ganddo ddim i gyfarfod gofynion deddf doredig, na dim i gyflawni holl eisieu ei enaid; y cwbl sydd ganddo i'w wneyd ydyw ymorphwys mewn ffydd yn bechadur euog a damniol ar haeddiant anfeidrol yr Arglwydd Iesu Grist.

Yn ail, y mae llai o natur gweithred mewn ffydd nag mewn un gras arall. Am y grasusau yn gyffredin, yn nerth y credadyn y maent gryfaf; ond am ffydd, yn y gwendid mwyaf y mae hi fwyaf nerthol. Gall yr enaid ddyweyd yma, "Pan wyf wan, yr wyf gryf a chadarn" mewn ffydd. Y mae ffydd yn rhy wan i ymgynnal arni ei hunan. Nid oes ganddi ond ymorwedd ar nerth Duw. Fel y dywed un, "Ymddiried ei hun mewn gwendid ar nerth yr Anfeidrol ydyw ei gorchestwaith." Ychwanega un arall, mai nid gwneyd ydyw credu, ond peidio gwneyd—dyn yn marw iddo ei hun, gan addef wrth Dduw ei anallu i wneyd hyd yn nôd ymddiried ac ymorwedd ynddo ac o hono ei hunan; fel y clywsom y diweddar Barch. Ebenezer Davies, Llanerchymedd, yn dyweyd mewn zel a thanbeidrwydd, "Os nad elli neidio i mewn i'r cyfammod gras, cymer dy godwm iddo." Dyma ydyw ffydd; pechadur wedi dyfod yn rhy wan i ddim ond cymeryd ei godwm mewn ymddiried fel y medr yn nhrefn Duw am ei fywyd. Y mae yn wir mai nerth Duw, ïe, gweithrediad nerth ei gadernid ef, sydd yn dwyn pechadur balch i'r agwedd yma; ond yr hyn y mae y nerth Dwyfol yma yn ei wneuthur yn y pechadur ydyw ei wneyd yn deimladol o'i wendid ei hun, nes y mae oddiar y teimlad hwnw yn ymorwedd yn unig ac yn hollol ar Berson ac Iawn yr Arglwydd Iesu Grist.

Y mae yn amlwg gan hyny mai y syniad cywiraf am ffydd ydyw yr un Puritanaidd

—mai ei *thlodi* ydyw ei chyfaddasder neillduol i lanw y lle mawr sydd iddi yn nhrefn fawr yr iachawdwriaeth, ac nid ei *chyfoeth*, fel y myn y Pabyddion i ni gredu. "*The beggar grace*" y gelwir hi gan un o'r tadau Puritanaidd; ac y mae hwn yn ateb yn llawn i air yr hen bobl pan yn gweddïo ynglŷn â'r gras hwn, mai "llaw wag" sydd gan ffydd bob amser. Dywed athrawiaeth werthfawr emynau y per ganiedydd o Bantycelyn am ffydd, fel y cyfaddasaf o'r holl rasusau i fod yn gyfrwng derbyniad pechadur o holl gyflawnder darpariaeth dihysbydd Duw yn yr efengyl ar ei gyfer; ac nis gellir terfynu y sylwadau agoriadol hyn yn well na chyda'r penillion canlynol o eiddo Williams ar y mater o bregeth Evangelius yn *Theomemphus*:—

"Nac edrych ar ammodau fyth fyth o'th farn dy hun,
Trwy gredu daw ammodau; mae gras wrth gredu ynglŷn:
Y fynyd gynta' credost yw 'r fynyd byddi byw;
Wrth gredu yn Nghrist yn unig, cei wel'd gogoniant Duw.

"Nid credu yw fod genyt rhyw driugain nôd ac un,
Amrywiol o rasusau rhagorol ynot d' hun;
Ond credu yw dy weled yn eisieu oll i gyd,
A'th eisieu 'n peri it' bwyso ar Brynwr mawr y byd;

"Dy eisieu yn peri it' redeg at yr addewid rad,
Dy eisieu yn peri it' olchi dy enaid yn y gwa'd;
Dy dlodi annherfynol yn peri it' fyn'd yn hy',
A doed hi fel y delo, o flaen yr orsedd fry.

"'Dys ddim yn gofyn ammod i'r rheiny fod ei gael,
Yn unig ond ei dderbyn o law 'r Messïah hael;
Efe sy 'n rhoddi 'r derbyn, Efe sy 'n rhoddi 'r llaw,
A 'Fe sy 'n rhoddi 'r cwbl yn gyfan drwyddo draw."

---

## Y GROES, YR ARDD, A'R BEDD.

*Gan y Parch.* JOHN WILLIAMS, *Capel City Road, Caerlleon.*

WELE dri gwrthddrych, gwahanol iawn i'w gilydd ar yr olwg gyntaf, wedi eu dwyn trwy farwolaeth ac adgyfodiad yr Arglwydd Iesu, i gysylltiad hyfryd â'u gilydd: "Ac yn y fangre lle y croeshoeliasid ef yr oedd gardd, a bedd newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed."

Y GROES mewn lle yr oedd gardd. Y groes sydd arwyddlun o felldith a chyflog pechod, a'r bedd sydd arwydd o lygredigaeth, a gardd o hyfrydwch. *Croes a bedd mewn gardd!* Nis dylem ryfeddu at hyn, oblegid mewn gardd y cyflawnwyd y pechod cyntaf yn ein byd. Trwy flysio y ffrwyth gwaharddedig yn ngardd Paradwys y daeth pechod i'n byd; ac felly nid yw yn syndod gweled canlyniadau melldigedig pechod yn cael eu harddangos yn y groes mewn gardd. "Ac yn y fangre lle y croeshoeliasid ef yr oedd gardd."

Darfu i un pechod o anufudd-dod yn ngardd Eden gyrhaedd, trwy wahanol deithraddau o ddyoddefaint, ei nôd uchaf yn nghroes Crist. Y fath ddadblygiad arswydus yn hanes pechod sydd i'w ganfod o ardd Eden i ardd Gethsemane, ac oddiyno i ardd Joseph o Arimathea, lle yr oedd croes Crist a'i fedd! Yn y groes gwelwn beth wnaeth pechod pan gafodd y cyfleusdra. Diystyrodd Fab Duw, gan ei osod yn watwar—poerodd ar y sanctaidd Iesu, a lladdodd Dywysog y Bywyd! Pe gofynwn, Pa beth a wnai fy mhechod i pe gallai? y mae'r groes yn dadguddio fod yn anian pechod ddihanfodi y Brenin mawr, diorseddu ei awdurdod, dinystrio ei gyfraith, a chreu pob annhrefn yn ei lywodraeth. "Oblegid anghyfraith yw pechod." Y mae nid yn unig yn beth croes i gyfraith, ond yn diddymu holl drefn ac awdurdod cyfraith. Cyrhaeddodd ei uchafnod o ddygasedd at y Duw byw trwy groeshoelio ei uniganedig Fab; a chymerodd y weithred anfad hon le mewn mangre o brydferthwch: "Ac yn y fangre lle y croeshoeliasid ef yr oedd gardd."

GARDD yw y gwrthddrych nesaf a ddygir i'n sylw. Y mae gardd yn peri i ddyn feddwl am Baradwys. Os oes genym grair *(relic)* o Eden, gardd ydyw, lle mae y buddiol a'r prydferth, fel Adda ac Efa, wedi eu cysylltu mewn doeth a glân undeb. Blodau ydynt bur. Y maent yn fath o "*In memoriam*" o Goll Gwynfa, ac i'r pur a'r ysbrydol yn rhagarwyddo y cânt eto drigo yn Mharadwys Duw. Pa fodd yr adfeddiannwn y Wynfa lân a gollasom trwy bechod, a pha fodd y gallwn gartrefu eilwaith yn ngardd yr Arglwydd? Y mae yr ateb yn ymyl, sef trwy y groes mewn gardd, a bedd gwag yn yr un fangre; Croes, Gardd, a Bedd yn ymyl eu gilydd! Y mae cyfagosrwydd pren garw y groes, y bedd newydd, a'r ardd ddymunol, yn ymddangos, ar yr olwg gyntaf, yn anghydweddol ac anhyfryd; ond y mae yr Hwn sydd oll yn hawddgar yn eu gwisgo â phrydferthwch, fel y mae eu cyflead yn un hyfryd a swynol.

Y mae Cristionogaeth yn gofalu am ac yn meithrin yr hardd a'r gogoneddus. Tybia rhai fod canolbwynt ein crefydd, sef croes ein Harglwydd Iesu Grist—ac wrth y groes y meddyliwn yn benaf yr hyn a gymerodd le arni—yn wrthddrych gwrthun a gwaedlyd, a'r farwolaeth arni yn gyru iasau trwy deimladau tyneraf a choethaf y ddynoliaeth, fel nad oes na phryd na thegwch yn yr Un croeshoeliedig,

fel y gellir ei ddymuno. Pell yw hynyna o fod yn wir. Er yr addefwn fod hoffi edrych ar ddienyddiad yn arwydd o chwaeth isel, eto gofalodd Duw am weddeidd-dra ynglŷn âg "angeu y groes;" o herwydd gorchuddiwyd y groes â thywyllwch goruwchnaturiol am dair awr, fel na chai dynion anrasol lygadrythu ar Fab Duw yn dyoddef ing y grôg. Tynwyd y lleni dros yr haul rhag iddo dywynu ar ei Grëwr yn dyoddef, fel y byddwn ninnau yn arfer tynu'r *blinds* dros y ffenestr rhag ei dywyniad ar wely y marw. "Fel trwy ras Duw y profai efe farwolaeth." Yr oedd *charm* gras yn ei farwolaeth ef ar y groes. Efe a fu farw yn weddus yn ol chwaeth y Nefoedd fel y dylasai gael marw. Un farwolaeth oedd i fod yn aberth dros bechod. Nid oes dim dirmyg, eithr yn hytrach gogoniant, mewn marw hyd yn nôd ar bren melldigedig y groes er iachawdwriaeth eraill. Y mae y groes yn meddu prydferthwch—"yn llawn gras a gwirionedd." Gwirionedd sydd yn gwneyd gras yn llawn o ddeniad a phrydferthwch. Dyna yw prydferthwch: amrywiaeth mewn perffaith gysondeb yn ffurfio unoliaeth. Y mae marw Iesu yn llawn o ogoniant a harddwch—yn arddangos ffafr Duw tuag ato yn rhoddi y fath ymddiried ynddo—ac efe yn marw mewn perffaith gysondeb âg anrhydedd gorsedd Duw, ac i ddwyn bywyd tragywyddol i ddyn pechadurus. Ac ond i ni gael agoryd llygaid ein meddyliau i weled Iesu trwy ras Duw yn profi marwolaeth dros bob dyn, ni a fyddwn yn ymffrostio yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist.

"Can's yn ei groes mae coron,
Ac yn ei wawd mae bri."

Ni raid cuddio y groes â blodau areithyddiaeth, ond dyfod â hi mewn eglurdeb i'r weinidogaeth; ac fe'i teimlir yn allu Duw ac yn ddoethineb Duw. Y mae'r Duw bendigedig, sydd i'w addoli yn mhrydferthwch sancteiddrwydd, wedi gofalu am y gweddus a'r gogoneddus ynglŷn â'r groes. A thrwy syllu yn addolgar ar brydferthwch Crist croeshoeliedig ein cyfnewidir ninnau i'r unrhyw ddelw.

Ymhellach, yr oedd nid yn unig groes yr Iesu, ond hefyd ei fedd, mewn gardd. Fel y byddwn yn myned â blodeuglwm prydferth i ystafell y claf i'w loni ac i ddwyn purdeb a pherarogl natur i'w ystafell afiachus, felly dyma ardd yn agos i groes ein Gwaredwr; ac yr oedd ganddo yntau—os goddefir i ni ymadroddi fel hyn—lygaid i weled anian, calon i deimlo anian, a glewder i gydfyned âg anian. "Yn y fangre lle y croeshoeliasid yr Iesu yr oedd gardd." Y mae yn hyfryd meddwl fod ei fedd mewn gardd. Fel pe dywedasai y ddaear, "Caiff Gwaredwr dynion fedd yn y man mwyaf hyfryd a hardd, sef yn ngardd un sydd yn ei garu a'i edmygu; caiff fedd glân wedi ei wneyd gan ddwylaw cariad mewn mangre ddymunol." Y mae'r groes a'r ardd yn awr mewn cysylltiad agos â'u gilydd. Y groes sydd wedi cysgodi yr ardd. Trwy y groes troir yr anialwch fel Eden, a'r diffeithwch fel gardd yr Arglwydd. Trwy y groes y derbyniwn hawl, ac y cyrhaeddwn gymhwyseder, i fwyta o ffrwyth pren y bywyd yn nghanol Paradwys Duw.

Y gwrthddrych nesaf yw "BEDD newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed." Bedd mewn gardd! y mae yn syniad prydferth. Mae marwolaeth Crist a'i adgyfodiad wedi ein dwyn i ddygymmod â'r bedd i raddau helaeth. Nid yw yn syndod ein bod yn hoffi gweled y fonwent fel gardd geinwych. Y mae anian a chelfyddyd yn ein helpu i brydferthu ein beddau.

Bedd NEWYDD yn yr ardd. Nid yw gwir gariad byth yn rhoddi rhoddion ailllaw i'r Iesu, eithr y goreuon. Eneiniasid ef ar gyfer dydd ei gladdedigaeth gan un oedd yn ei garu yn fawr. Prynwyd y llïan main goreu, glanaf, esmwythaf, i roddi am ei gorff sanctaidd, gan Nicodemus a Joseph, y rhai oedd yn ei hoffi. Nis gwyddom pa le y claddwyd y lladron, os nad yn Aceldama—maes y gwaed; ond gofalodd Duw am gladdedigaeth barchus i'r Sanct a'r Cyfiawn. "Ac efe a wnaeth ei fedd gyda y rhai anwir, a chyda y cyfoethog yn ei farwolaeth," neu, yn ol cyfieithiad Lowth gan Mr. Charles yn y *Geiriadur*, "Penodwyd ei fedd gyda yr anwir, ond gyda'r cyfoethog yr oedd ei feddadail."

"Bedd newydd yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed," fel na byddai dim tywyllwch nac ammheuaeth ynghylch ei adgyfodiad. "Deuwch, gwelwch y fan lle y gorweddodd yr Arglwydd." Y mae ei fedd mewn trefn. "Order is the first law of heaven." Y mae'r Nefoedd wedi bod wrth ei gwaith yn y bedd hwn. Nid oes yma ddim annhrefn, dim llygredigaeth, dim ôl brys, dim argoel ofn a braw. "Ni frysia yr hwn a gredo" sydd ymadrodd gwir am Iesu, Pentywysog a Pherffeithydd ein ffydd. Yr oedd yn ddigon meddylgar a ffyddiog i adael y bedd yn drefnus. Nid bedd didrefn a gaiff y credinwyr. Nid bedd oer sydd yn aros y saint. Y mae yr Iesu wedi bod yn y bedd yn tynu y *damp*—wedi ei gynhesu, a'i berarogli, a'i oleuo, i fod yn fynedfa glyd i dŷ ein Tad. Ac fel hyn y cana Dr. Watts am gyrff y saint a'r bedd:

"Why should we tremble to convey
Their bodies to the tomb

There the dear flesh of Jesus lay,
And left a long perfume.

"The graves of all his saints he bless'd,
And soften'd every bed;
Where should the dying members rest
But with the dying Head?"

Bedd gwag ydyw bellach. "Nid yw efe yma." Dyma yr unig le yr ydym yn ddiolchgar am absennoldeb yr Iesu: "Nid yw efe yma." "Efe a draddodwyd dros ein pechodau, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhau ni." Ei angeu drud oedd y taliad llawn am ein dyledion, sef ein pechodau; a'i adgyfodiad trwy Ddwyfol weithrediad oedd yr ardystiad i'w bobl fod y ddyled wedi ei thalu, y ddeddf wedi ei hanrhydeddu, a'r Tad wedi ei lwyr foddloni. Y mae gwagle colledigaeth dyn wedi ei lenwi âg Iawn anfeidrol. Fe ddeil ffordd iachawdwriaeth dros uffern obry, tra yn seiliedig ar farw Iesu a'i adgyfodi.

Bedd gwag yr Iesu sydd yn rhoddi i ni obaith cryf am brynedigaeth y corff oddiwrth lygredigaeth ac awdurdod angeu a'r bedd. Y mae ei adgyfodiad Ef yn ernes ac yn gynllun o adgyfodiad ei bobl i fuchedd dragywyddol. "Eithr yn awr Crist a gyfodwyd oddiwrth y meirw, ac a wnaed yn flaenffrwyth y rhai a hunasant."

Y mae'r Prynwr byw yn gwylio bedd y credadyn, ac wedi rhoddi sicrwydd pendant y cyfodir ef yn y dydd diweddaf. Gyda ni, rhaid i berthynasau anwyl adael bedd eu hanwyliaid. Ond wele Un, sef yr Adgyfodiad a'r Bywyd, nad yw byth yn anghofio nac yn gadael bedd credadyn. Os yw'r blodau a roddodd cyfeillion ar fedd cristion wedi gwywo, yr ywen ddu ganghenog sydd yn ei gysgodi yn heneiddio, a'r marmor uwch ei ben yn malurio yn araf trwy yr oesoedd, mae cariad y Ceidwad byw tuag ato yr un trwy yr oesoedd, a gair y llw yn ddigyfnewid ac yn gadarn gwlwm ar amdo y cyfammod, na lygra y bedd mo hono. Ni chollir dim o'r credadyn. "A hyn yw ewyllys y Tad a'm hanfonodd i, o'r cwbl a roddes Efe i mi na chollwn i ddim o hono, eithr bod i mi ei adgyfodi yn y dydd diweddaf." Trwy ffydd yn Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, caiff y credadyn adgyfodiad o'r bedd a mynediad i ardd yr Arglwydd, i "fwyta ffrwyth pren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw."

---

## Y COMED.

Olygfa ogoneddus! tra yr hwyr, ieuengaf blentyn prydnawn, yn lledu ei orphwysleni dros y byd—tra y llewyga olaf belydr haul, a'i ben ar drothwy y gorllewin draw, a'r dydd, wrth wynebdduo yn nghrafanc erch marwolaeth, yn cyflwyno yn ffyddlawn anadliad olaf i'r tragywyddoldeb pell—tra y gwena y ddiwair seren hwyrol fel lili unig, neu amddifad rosyn, gan wahodd myrdd o'i chymdeithion pur i hulio glaswyrdd wastadeddau yr nefoedd, y rhai a ymunant yn gymanfa fawr yn "oedfa'r nos" i lawn bregethu Duw, ac a fedyddiant fydoedd aneirif â'u hyawdledd coeth—ha! gwelaf *un* ar yr esgynlawr uchel, â nodedigrwydd ar ei ffurf a'i maint sydd yn creu edmygedd, a chynhyrfu holl ffynnonell ddofn cywreinrwydd o fy mewn. Gallaf "alw wrth eu henwau" rai o'r dysglaer lu sydd yn addurno llwybrau y nefoedd; ond tydi, urddasol Gomed, estron wyt, ac y mae dy enw fel dy hanes yn guddiedig i ni. Er hyn, ymwelydd dyeithr, rhoddaf frwd hawddamor i ti i ledu dy faner wèn, a'i chwyfio yn rhwysgfawr yn y gwagle pell, wrth ei fesuro ar dy chwyrnwyllt wibdaith.

O ferch y nef, yr ydwyt fel dy Grewr mawr; nis gall meidrolion dy amgyffred di. Arosa, weithian, ar dy hirgron daith, er mwyn cael ymgom ddifyr am dy hynt. Hysbysa dy enw a dy oedran. Dywed, O ba le y cychwynaist allan gyntaf erioed? A rifwyd di "yn y dechreuad" draw yn un o hynaf blant creadigaeth Duw? Ai ynte yn ddiweddar y rhoddaist lam o gôl cyfriniol y diddymdra dwfn? Pwy ydwyt? Beth ydyw dy urdd swyddogol? Ai un o herodron llysoedd Duw ydwyt? Ai baner gwae ddadblygwyd oddiar luman-bren praff rhyw angel dinystr ydwyt? Ai trancedigaeth pechadurus fyd a echrys hongia wrth dy danllyd ael? Na, ymaith â'r fath ddrygdyb; mae dy wawr garuaidd, dyner, yn arwyddo heddwch. Gall mai tydi a fu yn ymdryloewi gynt â'th wên uwch meusydd gwlithog Bethlehem, yn nodi y ffaith o eni Ceidwad dyn. A sefaist di y pryd hyny ar dy rawd i ymddifyru enyd uwch ben y fan? Os do, ai yn awr yr adennilli yn ol yr amser a gollaist, gan dy frys i ffoi? Pa le, er hyny, y buost yn crwydro hyd yn awr?

Frys-genad llachar, ni arosi un amrantiad i roddi llawn atebion i mi; ond chwyrn-olwyni heibio i'n daear ni, gan bwyntio tua chronell fawr ein dydd, a th gynffon lathraidd yn rhychwantu y nefoedd filiynau o filldiroedd o dy ol. Fe allai y gelli di grynhoi can' mil o fydoedd mwy eu swm na'n pelen ni, a'u dwyn yn mhlygion dy ëang losgwrn hardd, neu lwyr ysgubo ymaith y brychau sydd yn anurddo gwyneb y fflamwridog haul, neu gylchau yr ia tryloew sydd yn hongian ar hen begwn oer y gogledd mawr ei hun.

Ond treiglo ymlaen i'th yrfa yw dy nôd, mewn gwyllt gyflymdra annirnadwy, braidd. Dôs, ymherodres, dôs, a rhwyga trwy faith anialdiroedd yr ëangder pell, a chyhwfana dy laes sidanwisg wen dros dàl ysgwyddau cydser ar dy daith.

Ha! tebyg ydwyt i aruthrol long, a'th ffureg danlliw, lem, yn aredig yr wybren sydd heb draethlàn yn bod iddi, gan daflu y sêr gwreichionllyd o'r naill du fel ewyn-gylchau ar dawelog fôr wrth hwylio dy gwrs yn nerth dy ager. Lled-dybiaf mai llythyrlong gyflym wyt i ddwyn newyddion da o fyd i fyd trwy gyfundraethau ymherodrol Iôr. A'r fath chwimwthder yr ymruthri ymlaen, nes llwyr ymgolli yn y pellder mawr, tu hwnt i eryraidd, dreiddgar, dremiad dyn.

Mordwya ymlaen ar hyd dy faith gylch-lwybr trwy ddidrain ddiffeithderau marwol dywyllwch, a'r ffurfafenau annherfynol sydd yn chwareule i gysawdiau fwy na rhif. Moesgyfarch y cysawdiau hyny wrth fyned heibio, a goleua byrth eu hawyr, a dyro roesaw i'n daear fechan ni.

Yn iach, eirianwawr blaned! ni châf mwy dy weled yn teithio yn dy gerbyd tân ar draws anhygyrch, bell, werddonau *y nef*. Ond gwelaf ddydd yn y dyfodol draw pan y chwilfriwir holl gylchau y greadigaeth fawr, pan y gwelir ser-adeiliau heirdd y nef wedi ymollwng. Dyma y *dydd* a rydd derfyn i dy rawd, pan syrthi wysg dy gefn mewn marwol bang, i'r gwagle dwfn, byth i gyfodi mwy.

JOHN DAVIES.*

*Tregeiriog.*

---

* Rhaid i Mr. GOL. faddeu i mi am roi i mewn fy nodiad hwn. Mae hyllf nerthol y farddoniaeth uchod i'r *comed* wedi fy nhrydanu yn drwyadl, a myned i flaenau fy mysedd, fel nas gallaf beidio defnyddio fy ysgrifbin. Mae holl ddarllenwyr cyson y DRYSORFA, ynghyd a darllenwyr amryw gylchgrhoeddiadau eraill, yn gwybod mai y bardd *Einion Ddu* yw Mr. John Davies, Tregeiriog; ond dichon fod rhai o'r derbynwyr newyddion am eleni heb ddeall hyn, ac yn synu wrth ddarllen y cyfansoddiad comedol hwn, gan mai nid bob dydd, na phob mis, na phob blwyddyn, y ceir ei gyffelyb. Wel, dealled y cyfeillion hyny mai barddoniaeth mewn rhyddiaith sydd yma ger eu bron; ac, i fesur mawr, fe welir i'r awdwr arfer y mydr anghyfawdl *(blank verse)*, er heb ysgrifenu yn llinellol felly. Sylwer:

"Tra y llewyga olaf belydr haul
A'i ben ar drothwy y gorllewin draw."

"Ffynnonell ddofn cywreinrwydd o fy mewn."

"Nis gall meidrolion dy amgyffred di.
Arosa, weithian, ar dy hirgron daith,
Er mwyn cael ymgom ddifyr am dy hynt."

"Ond treiglo ymlaen i'th yrfa yw dy nôd,
Mewn gwyllt gyflymdra annirnadwy, braidd."

Ond rhaid i ni ymattal. Mae yna liaws eto o linellau cyffelyb. Pwy fel y beirdd? Nid ar hyd ffyrdd cyffredin yr ânt hwy, ond mewn awyren awen hedeg wnânt, gan siarad â llongyrnog sêr y gwawl.—*Bachgen y Wasg.*

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

ATHRAWIAETH ETHOLEDIGAETH.

*Gan y Parch.* DR. SPENCER, *New York.*

AR ddiwedd y gwasanaeth Sabbothol, rhoddais wahoddiad, megys y gwnaethwn yn fynych, i unrhyw bersonau nad oeddynt yn aelodau o'r eglwys, ond yn teimlo yn ddifrifol ynghylch crefydd, i alw gyda mi yn fy nhŷ ar awr benodedig. Wrth roddi yr hysbysiad, eglurais yn fyr y rhesymau am y gwahoddiad, ac a erfyniais ar y rhai oedd eto heb obaith da i ddodi sylw dioed a dyfal ar y mater pwysig hwn. Ymysg pethau eraill, dywedais mai un rheswm am y gwahoddiad hwnw ydoedd, y gallai yr anhawsderau sydd yn cyfarfod â rhai meddyliau ynghylch pynciau a phethau cysylltiedig â chrefydd, gael yn fynych eu symud yn well drwy rydd-ymddyddan na thrwy un ffordd arall.

Ar yr amser a benodwyd, yn hwyr y dydd, galwodd gyda mi ŵr ieuanc oddeutu tair blwydd ar hugain oed. Gan gyfeirio at fy ngwahoddiad, adroddodd yn uniongyrchol ei amcan yn dyfod ataf. Dywedodd fod ei feddwl wedi bod ar waith ynghylch crefydd er ys llawer o fisoedd—ei fod yn teimlo yn anesmwyth gan fydolrwydd ei fryd a'i arferion, a'i fod yn llwyr argyhoeddiadol o'r anghenrheidrwydd am grefydd, ac wedi dyfod i'r penderfyniad o beidio oedi yn hŵy. Ond yr oedd efe wedi cyfarfod âg anhawsderau, nas gallai, meddai, fyned drostynt. Po fwyaf y ceisiai, mwyaf y dyrysai ei feddyliau, ac er ei fod wedi gwneyd ei feddwl i fyny ar rai pynciau, eto ar rai pethau yr oedd efe o hyd yn gythryblus ac anfoddlonol. "Mi feddyliais," ebe efe, "y gwnawn dderbyn y gwahoddiad a roddasoch i ni, er nad oes genyf nemor ddysgwyliad am gael fy moddloni ynghylch rhai pethau sydd yn fy nyrysu."

Yr oedd efe yn ymddangos yn chwannog i siarad, ac yr oeddwn yn meddwl mai gwell oedd gadael iddo fyned ymlaen yn ei ddull ei hun. Aeth ymlaen i ddyweyd fod rhai athrawiaethau yn ei drallodi, ac na fedrai efe gydsynio â mi yn eu cylch. Yr oedd raid iddo gael ei ffordd ei hun o feddwl, ac yr oedd ganddo hawl i hyny.

"Oes," meddwn innau, "os ydych yn meddwl yn *gywir;* ond nid oes achos i chwi feddwl yn *gyfeiliornus.* Os yw dyn yn meddwl yn anghywir, y mae efe ei hun yn anghywir; ac nid oes gan un dyn hawl i fod o'i le os mai felly yw ei ffordd. Mae Duw yn galw ar yr anwir i adael ei feddyliau. Mae eu meddyliau yn gyfeiliornus, ac y mae efe yn dyweyd wrthynt nad ydynt fel ei feddyliau ef."

"Yr wyf yn gwybod hyny," medd efe; "ond golygu yr ydwyf fy ffordd i o feddwl am etholedigaeth, a'r holl athrawiaethau hyny sydd mor anhawdd eu llyncu, ac yn gwneyd dyn yn analluog i weithredu dim —yn ei wneyd yn ddim ond peiriant. Nid wyf fi yn credu mewn etholedigaeth a rhagordeiniad, fel ei gelwir. Ni wnaeth y fath bethau un lles i *mi*, ac, yn ol fy marn i, ni wnant les i neb arall. Nid ydynt yn gwneyd dim ond fy nyrysu; ac o'm rhan i nid wyf yn eu credu. Da fyddai genyf i weinidogion beidio byth â'u pregethu. Yr wyf fi yn methu gweled pa fodd y gall undyn geisio gwneuthur dim tuag at fod yn gristion os creda efe fod y cyfryw beth âg etholedigaeth. Mae'r fath athrawiaeth yn dwyn ymaith allu dyn, ac wedi hyny yn ei gondemnio am beidio ei arfer."

Yn y modd yna y parhäodd i siarad am rai mynydau, nes yr ymddangosodd heb ganddo fwy i'w ddyweyd. Nid oedd arno un arwydd o ddifrifwch dwys. Nid oedd yn ymddangos mewn trafferth neillduol ynghylch ei gyflwr, fel pechadur âg arno eisieu maddeuant gan Dduw. Yr oedd yn ddigon amlwg ei fod ymhell o fod yn hapus; ond nid oedd yn dywedyd gair ynghylch ei fod yn bechadur yn erbyn Duw, neu mewn perygl o fyned dan ei lid, neu yn anmharod i'w gyfarfod mewn barn, neu mewn anghen o gymmod âg ef. Yr oedd rhai o'i ymadroddion yn fy adgofio o lythyr dienw a dderbyniaswn rai wythnosau cyn hyny, yn achwyn arnaf am bregethu amrywiol weithiau o fewn ychydig fisoedd ar athrawiaeth etholedigaeth, ac yn cynnwys gosodiadau cyfeiliornus eraill. Ond ni chrybwyllais am y llythyr wrtho ef. Eithr wrth gofio ei gynnwysiad, yr oeddwn yn teimlo yn sicrach fy mod yn deall ystâd ei feddwl oddiwrth yr epistol hwnw, a bod genyf fantais arno nad oedd efe yn tybio am dani.

Wedi iddo adrodd y cwbl yr oedd yn tueddu i'w ddywedyd, gofynais iddo, "Er ys pa hyd yr ydych wedi dechre dyfalfeddwl a gweddïo mewn cysylltiad â chrefydd?"

"Yr wyf wedi bod yn meddwl am hyn er ys pedwar neu bum' mis."

"Beth yn gyntaf a droes eich sylw at y mater hwn?"

"Pregeth a bregethasoch chwi ar ragluniaethiad."

"Yna mae yn ymddangos fod rhyw lês o'r cyfryw bregethu wedi'r cwbl, os yw yn arwain pobl i feddwl am iachawdwriaeth eu heneidiau."

Efe a ymddangosodd fel wedi ei fawr gythruddo wrth yr atebiad hwn, ac a arosodd yn ddystaw am enyd, megys heb wybod beth i'w ddyweyd. Ond fel un yn adfeddwl, efe a atebodd, "A ddywedais i nad oedd dim llês o bregethu ynghylch etholedigaeth?"

"Na, nid wyf yn meddwl i chwi ddyweyd hyny yn uniongyrchol—rhywbeth yn debyg, pa fodd bynag. Ond mae pobl yn fynych wedi dyweyd hyny, ac wedi *ysgrifenu* hyny; ac yr ydych *chwi* newydd ddyweyd nad ydych yn cydsynio â mi mewn rhai athrawiaethau—nad ydych yn credu yn yr athrawiaethau sydd yn gwneyd dyn yn analluog i wneuthur unpeth—yn ei wneyd yn ddim ond peiriant; ac yr oedd arnaf eisieu gwybod beth yn gyntaf a droes eich sylw at grefydd. Mae yn dda genyf weled fod yr athrawiaeth am etholedigaeth wedi eich cyffroi, ar ol i bob math arall o bregethu fod am flynyddoedd i chwi yn ofer. Yr wyf yn cael fy nghefnogi oddiwrthych chwi i bregethu ar y mater drachefn."

"Ond nid wyf fi yn credu hyn," ebe efe gyda phwys mawr.

"Yna yn sicr nid rhaid i chwi flino yn ei gylch, os nad ydych yn ei gredu; ac felly ni a adawn y mater heibio. A fuoch chwi yn *gweddïo* ar i Dduw faddeu i chwi? A fyddwch chwi yn gweddïo yn feunyddiol?"

"Nis gallaf ddyweyd fy mod wedi gweddïo llawer; ond mi a ddarllenais y Bibl, ac a fum yn meddwl ac astudio llawer ynghylch crefydd."

"A ddarfu i chwi weddïo heddyw?"

"Naddo, ddim heddyw."

"Ond a ydych chwi yn dysgwyl cael eich cadw heb i chwi weddïo?"

"Nac ydwyf; ond nid oes genyf galon i weddïo."

"Ai ïe yn wir! Yna mae eisieu i'ch calon gael eich sylw, yn gystal ag athrawiaeth etholedigaeth. Mae'r Bibl yn gwneuthur gweddi yn ddyledswydd, ac ni a ddylem ei chyfrif yn fraint werthfawr. Fel pechaduriaid, y mae arnom yr anghen mwyaf am fendith Duw; ac hebddi bydd ein holl ymdrechiadau gyda chrefydd yn aneffeithiol. Nid peth i ryfeddu ato yw eich bod heb gymmodi â Duw, os nad ydych wedi gwneyd cymaint â gweddïo am ei ras i'ch arwain. Os myn pechaduriaid gael eu dwyn i'r iawn, a bod yn gadwedig, rhaid iddynt ufuddhâu i Dduw. Ac y mae ei orchymyn yn eglur iawn: 'Ceis-

wch yr Arglwydd tra y galler ei gael ef; gelwch arno tra fyddo yn agos.' Rhaid i chwi alw arno, rhaid i chwi weddïo, os mynech gael lle i ddysgwyl ei ffafr."

"Ond y mae gweddïau yr annuwiol yn ffiaidd gan yr Arglwydd," ebe efe.

"Hyny a ddywedir genych chwi," meddwn i; "nid yw Duw wedi dyweyd hyny. Nid yw y cyfryw fynegiad i'w gael yn y Bibl, er fod pobl yn fynych yn tybied ei fod, ac er fod rhai ymadroddion yn ymddangos yn debyg i hyny. Yr achwyniad cyffredin yn y Bibl yn erbyn pechaduriaid ydyw, nid eu bod yn gweddïo gyda chalonau drwg, ond nad ydynt yn gweddïo o gwbl, neu ond yn anfynych. Dywedir eu bod yn 'bwrw ymaith ofn ac yn attal gweddi.' Gall fod yn bechod ynoch weddïo gyda'r fath galon ag sydd genych; ond y mae i chwi esgeuluso gweddi yn bechod gwaeth. Mae'r Bibl yn gorchymyn i chwi weddïo; ac os ceisiwch chwi ufuddhâu yn hyny, mae yn eglur na byddwch yn llawn mor ddrwg â phe na byddech yn ceisio o gwbl. Mae'r gorchymyn yn aros yn y Bibl, ac yno yr erys. Nid yw eich bod heb galon dda yn ei ddirymu, nac yn esgusodi eich anufudd-dod. Heblaw hyny, mae arnoch eisieu cymhorth Duw i gael calon well; ac yn ddiau bydd genych fwy o reswm i ddysgwyl y cymhorth hwnw os gofynwch am dano na phe byddech heb ofyn o gwbl. 'Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi.' Os myn pechaduriaid gael eu cadw, rhaid iddynt fod yn ewyllysgar i ddilyn y cyfarwyddiadau a rydd Duw iddynt. Yr ydych chwi yn gosod eich doethineb eich hun yn lle doethineb Duw. Mae ei ddoethineb ef yn gofyn i chwi weddïo; mae eich drwg yn peri i chwi ommedd gweddïo; ac yna y mae eich calon dwyllodrus yn gwneyd esgus am beidio gweddïo. Ond eich bod yn meddu calon ddrwg sydd, yn lle bod yn rheswm am beidio gweddïo, yn rheswm penodol paham y dylech weddïo yn ddyfalach. Ac, yn wir, y mae eich esgus ynddo ei hun yn gynnyrch hunan-gyfiawnder a balchder. Mae arnoch eisieu cael eich gwrando am eich bod yn gweddïo mor dda —gyda'r fath galon ragorol. Yr ydych yn rhy falch a hunan-gyfiawn i feddwl am gael eich gwrando pryd na byddo dim ynoch yn haeddu gwrandawiad. Yr ydych am wneyd haeddiant o'ch gweddïau. Rhaid i bechadur fod yn ufuddach a gostyngeiddiach na hyn. O'r hyn lleiaf, rhaid i chwi wneyd cais am ufuddhâu i Dduw, gan nad ydych yn ceisio yn bresennol. Nid dywedyd yr wyf y dylech weddïo gyda chalon anedifeiriol, ond dywedyd, os calon anedifeiriol sydd genych, y dylech weddïo, a hyny yn hytrach o'r herwydd. Ni wiw cynnyg un pechod i esgusodi pechod arall. Ac yr wyf yn dyweyd ymhellach, nad oes genych yr un golwg ar gael calon well os na wnewch chwi weddïo. Dyma chwi yn gweithredu yn wrthwyneb i drefn y Bibl a synwyr cyffredin. Chwi a fynech dderbyn calon dda yn gyntaf, ac yna chwi a fyddech yn barod i ofyn am dani! Mae'r Bibl yn dysgwyl i chwi *ofyn* yn gyntaf. Yr ydych chwi yn dysgwyl am galon dda yn gyntaf, ac wedi hyny yn bwriadu gweddïo am galon dda. Y fath anghysonedd dyeithr sydd yn meddwl pechadur!

"Gyda golwg ar fy mhregethu a'm hathrawiaethu, nid yw o un pwys eich bod yn anghyttuno â *mi*; nid wyf fi yn safon i chwi, ac yn ddilys nid ydych chwithau i fod yn safon i mi. Nid wyf yn gofyn i neb feddwl fel myfi, ond am i bawb gyttuno â'r Bibl. Mae yn ymddangos yn ddyeithr fod dyn yn y cyflwr meddwl yr ydych chwi ynddo yn crybwyll am eich anghydweledigaeth â mi, tra ar yr un pryd fod eich ymddygiad mor anghyttunol â Gair Duw nes nad ydych hyd yn nôd yn gweddïo."

Yr oedd efe yn ymddangos fel heb wybod beth i'w ddyweyd; ond gan ymgryfhâu ychydig, efe a atebodd, "Yr wyf yn credu y dylwn weddïo; ond y mae arnaf eisieu gwybod y gwirionedd ynghylch crefydd cyn i mi ddechre ar hyny."

"Yr ydych *yn* gwybod y gwirionedd yn ei chylch, fy anwyl syr; digon i wybod fod Duw yn gorchymyn i chwi weddïo, a defnyddio yr holl foddion iachawdwriaeth sydd yn appwyntiedig. Ac yr ydych, hefyd, yn cymeryd ffordd gamsyniol i ddysgu yr hyn *na* wyddoch. Ffordd y Bibl ydyw, 'Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys ef, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, ai o Dduw y mae hi.' Mor bell ag y byddo un yn gwybod y gwirionedd, efe a ddylai ufuddhâu iddo. Pa les i un ddysgu mwy o wirionedd, os na weithreda efe oddiar y gwirionedd y mae yn ei wybod eisoes? Gwersi profiad yw y gwersi rhagoraf; ac yn fynych yr hyn a ddysgir yn y ffordd hono yn unig sydd yn gymhwysder angenrheidiol tuag at ddysgu hyd yn nôd yn ddeallol y pethau sydd yn gorwedd tu hwnt. Mae arnoch eisieu gwybod yr holl wirionedd ynghylch crefydd, meddwch, cyn i chwi ddechre gyda hi. Felly y mae arnoch eisieu cael peth anmhosibl. Mae crefydd i ddal perthynas nid â'ch meddwl yn unig, ond â'ch cydwybod, eich calon, eich arferion, eich bydolrwydd, eich balchder, ac uwchlaw'r cwbl, eich hunangyfiawnder. Os nad ydych yn amcanu rhoi eich cydwybod, a'ch calon, a'ch arferion, i ufuddhâu iddi, yr un peth a fyddai i chwi feddwl am ddeall pobpeth ynghylch cerddoriaeth heb

eich clustiau, neu ynghylch prydferthwch heb eich llygaid. Ni ddeuwch chwi byth i ddeall llawn arwyddocâd gorchymynion Duw nes i chwi amcanu ufuddhâu iddynt, na llawn ystyr addewidion Duw nes i chwi eu cymeryd i chwi eich hunan. 'Profwch,' ac yna chwi 'a welwch mor dda yw yr Arglwydd.' Rhydd ymarferiad oleuni i chwi, a chyfryw oleuni ag nas gellwch wneyd hebddo pan yn ymgyrhaedd at ddeall gwersi eraill tu hwnt. Ac am nad ydych wedi ceisio gweithredu yn ol y gwirioneddau a ddeallir genych, nid yw yn rhyfedd fod eich meddwl yn ymddyrysu fwyfwy, fel yr addefwch. Dyma fel y mae: chwi a fuoch yn anufudd; nid ymwrthodasoch â'r byd; ni roisoch eich calon i Dduw; nid ydych yn edifarhâu; nid aethoch at Grist, i'ch achub oddiwrth gondemniad cyfraith Duw; ac am hyny, nid ydyw Duw wedi eich tywys allan o'r dyryswch a rhoddi chwi dangnefedd. Tra yn astudio crefydd, yr oeddech yn glynu wrth eich pechod. Chwi a wyddoch eich bod yn bechadur, ac y dylech edifarhâu a ffoi at y Crist a gynnygir i chwi."

"Ond," medd efe, "os nad wyf wedi fy ethol i iachawdwriaeth, ni wna fy holl ymgais ddaioni i mi."

"Yn wir! y mae hyna yn beth dyeithr i'w ddyweyd genych chwi. Yr ydych wedi dyweyd wrthyf nad ydych yn credu mewn etholedigaeth, ac yr wyf finnau wedi ceisio eich perswadio i'w gadael yn llonydd. Dywedasoch fod yn rhaid i chwi gael eich ffordd eich hun o feddwl, ac nad ydych yn credu athrawiaethau sydd yn gosod dyn allan yn ddiallu i wneuthur unpeth—yn ei wneyd ef yn ddim ond peiriant. Ac yn awr pan yr wyf yn ceisio eich perswadio i wneuthur rhywbeth—i wneyd yr hyn y mae Duw yn ei beri i chwi, a'r hyn y mae eich ffordd chwi o feddwl yn ei ddangos yn ddyledswydd arnoch—wele chwi yn dra chwithig yn dal i fyny athrawiaeth etholedigaeth fel esgus dros eich anufudd-dod! Chwi a ddywedwch os nad etholwyd chwi na wna un ymgais o'r eiddoch ddim lles!"

*(I barhâu.)*

---

## YR HEN DDIWYGIAD YN LLANGEITHO.

*Llythyr a ysgrifenwyd gan y Parch.* DANIEL ROWLANDS, *Llangeitho, at ddwy chwaer grefyddol, hen aelodau ei braidd, oedd wedi symud i Lundain.*

YR wyf yn gobeithio y bydd y llinellau hyn yn eich cael yn neu yn agos i dŷ eich Tad, yn pwyso ar eich Anwylyd, yn derbyn adfywiad trwy ysbrydol ymborth iachus, yn galaru am eich troseddiadau blaenorol, ac yn llawenychu yn yr Arglwydd am iddo eich galw yn effeithiol. Ond dychymygaf fy mod yn clywed fy chwïorydd, druain, yn dywedyd, "Dedwydd yw y rhai sydd felly; ond am danom ni, yr ydym yn y tywyllwch, heb wybod beth a ddaw o honom, yn llawn o ddagrau ac anghysuron, yn athrist, athrist, athrist!" Ië, athrist yn wir yw clywed y fath lef yn nhymmor yr haf! Yr wyf yn tosturio wrthych. Bydded i'r Duw mawr ddyrchu llewyrch ei wyneb arnoch.

Ond pa le yr ydych wedi bod yr holl amser hwn? Beth yr ydych yn ei wneuthur! Pwy yr ydych yn eu gwrando? A ydych yn gwneyd cydwybod o weddi ddirgel? A ydych yn awyddus yn dilyn ordinhadau yr efengyl? A ydych yn ymuno yn addoliadau cyhoeddus a dirgel gyda chwïorydd eraill? Esgeulusdod o'r cyfryw foddion a sycha i fyny eich ysbrydoedd, ac a wna i chwi rodio yn annyddanus. Hwyrach yr atebwch, "Nid oes genym ni ddim amser; rhaid i ni edrych ar ol ein *business* yma; nid ydyw yma yr un fath ag yn y wlad." Os nad oes genych amser i ymarfer â'r ordinhadau, gwell i chwi ymadael â'ch lleoedd nag ymadael â Duw; gwell i'r corff drengu nag i'r enaid newynu. Ymaith â'r cyfryw esgusion, a deuwch gyda phob brys yn ol i'r wlad, lle, o drugaredd Duw, y cewch luniaeth ysbrydol wrth eich ewyllys.

Ai nid yw bloeddiadau gorfoledd eich chwïorydd yma yn y wlad yn treiddio hyd atoch ac yn toddi eich calonau? Onid ydych yn eu clywed yn gwaeddi allan, "O fy Iesu anwyl a hawddgar, attal dy law; nis gallaf gynnal ychwaneg!" Eraill sydd yn dywedyd, "O Michael yr archangel, cân di Gogoniant, Gogoniant, Gogoniant i Dduw Dad; yr wyf fi yn methu canu, gan fel yr wyf wedi fy ngorchfygu gan gariad fy Emmanuel mawr!" Eraill a lefant, "O chwi gerubiaid a seraphiaid, bydded eich sein-nodau yn dri dyblyg hyd nes y delom ni atoch!" Y rhai hyn, ac amryw eraill cyffelyb, ydoedd ymadroddion pêrgynhyrfiol eich hen gyfeillion. O boed iddynt ddylanwadu a fflamychu eich calonau chwithau!

Fy anwyl chwïorydd, yr wyf yn eich caru yn fawr, ac mi ddymunwn allu ysgrifenu rhywbeth fyddo er eich adeiladaeth. Byddai yn dda genyf gael llythyr oddiwrthych, i wybod ystâd eich eneidiau.

Rhoddwch fy nghariad a'm gwasanaeth i'r holl gyfeillion yn Llundain, yn enwedig i aelodau y *society*, ac i'w dysgawdwyr, y brawd Howell Harris, F. Pugh, &c.

Ydwyf, yn dra phrysur, eich brawd annheilwng yn ngwaith y weinidogaeth,

DANIEL ROWLAND.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### RHAGARWEINIAD.

MAE Gweinidog Bethel, er ys peth amser bellach, yn gorwedd yn dawel yn mhriddellau'r dyffryn. Yn ei ddydd ystyrid ef yn ŵr call a diymhongar; a gwyddai y rhai a'i hadwaenent oreu fod mwy ynddo nag oedd yn dyfod i'r golwg. Er ei fod, fel gweinidog yr efengyl, yn "ddyn cyhoeddus," fel y dywedir, ni byddai byth yn chwannog i ddangos ei hun. Nid oedd yn boblogaidd fel pregethwr, a hyny yn benaf am nad allai ganu, yr hyn oedd yn anffawd fawr iddo. Serch hyny, byddai ganddo ef bob amser rywbeth gwerth ei wrandaw; a chlywais ddynion o farn addfed yn dywedyd, y buasai ei bregethau "mewn preint" yn sefyll cymhariaeth ffafriol â goreuon y pulpud Cymreig. Yn wir, tadogid yr ychydig erthyglau a ysgrifenodd efe i'r *Traethodydd* i'r Dr. ——; a darllenid hwy gyda blâs. Yr oedd hyn yn y cyfnod pan na chyhoeddid enwau yr awduron yn y chwarterolyn gwerthfawr hwnw. Dichon pe cyhoeddasid yr enwau y pryd hwnw, na fuasai neb yn myned i'r drafferth i ddarllen ysgrifau Rhys Lewis. Fel bugail bu yn lled hapus a llwyddiannus. Ond y mae yn rhaid cydnabod nad oedd hyny ond dygwyddiad; oblegid y prif reswm am y ffaith oedd, fod mwyafrif yr eglwys yr oedd efe yn weinidog iddi yn meddu gradd helaeth o synwyr cyffredin, ac ychydig o deimlad cristionogol.

Er fod Rhys Lewis yn ŵr hywaeth a chymdeithasgar iawn gyda y rhai yr oedd efe yn weddol hyf arnynt, eto ei hoff fan oedd unigrwydd ei fyfyrgell. Ar adegau byddai yn anghofio ei hun, ac yn rhoi ffordd yn ormodol i'r duedd hon at neillduaeth; ac ar fwy nag un achlysur bu raid i'r diaconiaid alw ei sylw at ei ddyledswyddau cyhoeddus. Blinid ef weithiau gan iselder ysbryd; a thybiai rhai fod rhywbeth yn pwyso ar ei feddwl nad oedd hyd yn nôd ei gyfeillion mwyaf mynwesol yn hysbys o hono, tra y dywedai eraill mai anhwyldeb ar ei *nervous system* oedd yr achos. Dichon y bydd yr hanes canlynol, o'i waith ef ei hun, yn taflu rhyw gymaint o oleuni pa un o'r ddwy dybiaeth oedd yn gywir. Bu gweinidog Bethel farw yn nghanol ei ddefnyddioldeb, ac heb flotyn ar ei gymeriad, a thra nad oedd efe ond cymharol ieuanc.

Yn ddiweddar, pan oeddwn o dan gyfarwyddyd ei berthynas agosaf yn trefnu ei lyfrau gogyfer â'u gwerthiant, tarewais ar ysgrif drwchus; ac wedi ei harchwilio cefais mai hunangofiant ydoedd. Gan dybied y gallai fod yn yr ysgrif rywbeth o ddyddordeb, ac wedi cael caniatâd y perthynas agosaf i'r ymadawedig, cymerais hi gyda mi gartref; a phan gefais hamdden, darllenais hi yn fanwl. Heblaw fod awdwr y cofiant yn dyweyd hyny yn bendant (fel y ceir gweled eto), y mae yn ddigon amlwg oddiwrth arddull a chynnwys yr ysgrif, na fwriadai efe iddi gael ei hargraffu. Pa fodd bynag, cefais i fy hun y fath foddhâd wrth ddarllen yr hunangofiant, a barodd i mi ofyn caniatâd i'w gyhoeddi; ac yr wyf yn awr yn ei gyflwyno i'r cyhoedd, gan hyderu y bydd iddynt hwythau gael yr un boddhâd. Ar yr un pryd, yr wyf yn teimlo fod *apology* dros yr hanes yn ddyledus. Mae y pennodau cyntaf braidd yn ysgafn a phlentynaidd, er yn ddiniwed, ac, fel yr wyf yn credu, yn ffyddlawn i natur, ac yn mynegu profiad llawer un. Fel y mae yr hanes yn myned ymlaen, y mae yn dyfod yn fwy sylweddol, ac yn cynnwys desgrifiadau o hen gymeriadau hynod a chrefyddol. Cymerais fy rhyddid, o herwydd rhesymau neillduol, i newid enw yr awdwr, ac eraill y mae yn sôn am danynt. Nid oeddwn yn teimlo fod genyf hawl i wneyd ychwaneg o gyfnewidiadau. Os bydd y darllenydd yn canfod rhyw bethau heb fod yn unol â'i feddwl, ac yn tueddu i dramgwyddo wrth yr arddull rhydd sydd weithiau yn ymylu ar y digrifol, ac hefyd y gorfanylder a ddangosir wrth ddesgrifio pethau bychain, dymunwn iddo gofio yn barhâus na fwriadodd yr awdwr i'r hanes gael ei argraffu.

### PENNOD I.

*Cofiaint.*

Yn ystod fy oes darllenais amryw gofiaint, ac nis gallaf byth fesur na phrisio y difyrwch a'r lles a gefais trwy hyny. Dichon fod llawn cymaint o dalent, ac o synwyr yn enwedig, yn cael eu harddangos mewn bywgraffiaeth ag sydd mewn unrhyw gangen o lenyddiaeth, am y rheswm, dybygid, fod yn rhaid i'r awdwr wybod rhywbeth am ei destun, yr hyn, fel yr ymddengys, nad ydyw yn anhebgorol gyda changenau eraill; oblegid pa mor fynych yr ydys yn cael dynion yn ysgrifenu ar bynciau na wyddant ddim yn eu cylch? Ar yr un pryd, er mor alluog a ffyddlawn y desgrifiai y cofiantydd gymeriad cyhoeddus ei wrthddrych, gofidiwn yn fynych wrth feddwl mor ychydig a wyddai efe wedi'r cwbl am deimladau a hanes mewnol yr un y byddai yn son am dano. Teimlwn hefyd mor dda a fuasai gan y cofiantydd, yn gystal a'r darllenydd, gael gofyn ychydig gwestiynau i'r hwn oedd bellach yn gorwedd yn ei ddystaw fedd. Ac yn

hyn y mae gan hunangofiant fantais fawr ar gofiant cyffredin. Ond wedi ail ystyried, yr wyf yn tybied mai cofiant wedi ei ysgrifenu gan arall, ac nid gan y gwrthddrych ei hun, ydyw y cywiraf ar y cyfan. Gwir fod teimladau a defnyddiau wrth alwad y dyn sydd yn ysgrifenu ei hanes ei hun nad all un arall, gan nad beth fyddo ei allnoedd a'i ffyddlondeb, byth eu dyfalu. O ran hyny, pan fyddo un yn ysgrifenu ei hanes ei hun, ac ar yr un pryd yn ymwybodol fod yr hanes hwnw i gael ei gyhoeddi, os bydd yn ŵr coeth a llednais, meddiennir ef gan wyleidd-dra, ac oin i eraill dybied ei fod yn gorbrisio ei hun, a'r canlyniad fydd nad ydyw yn hawlio iddo ei hun yr euw a'r lle a roisid iddo gan arall.

Meddyliais lawer gwaith mor dda a fuasai genyf gael cofiant cywir o fywyd dyn cyffredin fel fy hunan. Yr holl gofiaint a ddarllenais i, yr oedd eu gwrthddrychau yn ddynion mawr a hynod mewn rhywbeth neu gilydd, ac wedi bod yn troi mewn cylchoedd na buaswn i erioed ynddynt, a myned trwy amgylchiadau na wyddwn i ddim am danynt. Ac er o bosibl mai hyn oedd yn eu gwneyd yn wrthddrychau gwerth ysgrifenu cofiant o honynt, teimlwn ar yr un pryd mor hyfryd a fuasai genyf gael darllen hanes dyn cyffredin—un wedi bod yn troi yn yr un cylchoedd a chyfarfod yr un profedigrethau â mi fy hun. Onid oes yma ddosbarth o feddyliau a theimladau na roddwyd mynegiad iddynt erioed, a hyny o herwydd eu cyffredinedd, yr un modd ag y mae llawer o brydferthion natur heb dynu sylw am eu bod i'w gweled ymhobman? Ai amddifadrwydd o brydferthwch ydyw y rheswm fod llygad-y-dydd heb dynu sylw y blodeuydd, ac ennyn molawd y bardd, ai ynte am ei fod i'w weled ar bob cae, ac am ei fod yn cael ei sathru gan bob buwch? Pe dechreuai y robyn goch a'r ysnosen felen draethu ar brydferthwch anian, deuai tlysni y friallen wyllt am ran helaeth yn eu canmoliaeth, er mai y cloddiau anamaethedig a addurnir ganddi hi. Tueddir fi i feddwl nad oes odid un dyn na fyddai hanes gonest o'i fywyd yn ddyddorol. Onid oes yn mywyd pob dyn ddygwyddiadau gwerth eu croniclo, a meddyliau wedi bod yn ei galon, na ddarfu iddo ef ei hun na neb arall roddi mynegiad iddynt? Bum yn meddwl lawer gwaith mai un gwahaniaeth mawr rhwng dyn cyffredin a dyn anghyffredin ydyw, fod yr olaf yn gallu mynegu yr hyn y mae efe wedi ei feddwl a'i deimlo, tra nad all y blaenaf, neu o leiaf na cheisiodd, wneyd hyny. Yr hyn a barai i mi feddwl felly oedd hyn: pan fyddwn yn darllen awdwyr enwog, neu ynte yn gwrandaw ar feistriaid y gynnulleidfa, teimlwn yn gyffredin nad oeddynt yn dyweyd dim oedd yn hollol newydd i mi, eithr yn unig eu bod yn gallu rhoddi ffurf, a gosod mewn geiriau, yr hyn yr oeddwn i fy hun eisoes wedi ei deimlo neu ei feddwl, ond na fedraswn roddi mynegiad iddo. Neu, mewn geiriau eraill, eu bod yn gallu darllen llêch fy nghalon, yr hon yr oeddwn i am flynyddau wedi bod yn ceisio ei sillebu. Yr oeddwn yn ymwybodol fod y meddyliau a'r teimladau eisoes yn fy nghalon, ond eu bod yn cysgu, neu yn hytrach yn hepian, ac mai yr unig beth yr oedd y meistriaid yn gallu ei wneyd oedd curo drws eu hystafell wely mor effeithiol nes yr oedd y cysgaduriaid yn neidio i'r llawr ac yn agor eu llygaid!

Mae arnaf flys ysgrifenu hanes fy mywyd fy hun, nid i eraill, ond i mi fy hun; ac yn sicr nid i'w argraffu, ond yn hytrach fel math o hunangymundeb. Gwn yn eithaf da nad oes perygl i neb wneyd cofiant o honof wedi i mi farw. Can' mlynedd i heddyw, ni bydd y byd yn gwybod mwy am danaf na phe buaswn erioed wedi bod ynddo. Gyda miloedd ar filoedd o'm cydoeswyr, byddaf y pryd hyny yn gorwedd yn dawel yn nystawrwydd dinodedd ac anghof. Ac eto nid wyf yn hoffi meddwl am hyn. Eithr pa help sydd, gan mai hon ydyw ffawd pawb o honom ni y bobl gyffredin? Pa beth ydyw yr achos, tybed, fod dyn mor anfoddlawn i'w enw syrthio i anghof wedi iddo farw, pryd nad all cof nac anghof wneyd da na drwg iddo? Mae y meirw, dybygaf, yn cael llawn cymaint o foddhâd yn y gareg sydd yn nodi eu beddrod ag y mae y cyfeillion tyner sydd yn ei gosod yno. Mae esgyrn y meirw yn gorwedd yn fwy tawel os bydd coffadwriaeth uwch eu pen! Anfarwoldeb! a oes a wnelych di rywbeth â hyn?

Yr wyf am ysgrifenu fy hanes, meddaf, nid i'w argraffu—diolch am hyny!—oblegid pe felly, nid allwn ddyweyd y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir, gan y byddwn yn yr amgylchiadau hyny yn astudio y darllenydd yn gystal a mi fy hun. Rhys, beth a ddywedi am danat dy hun? Cofia ddyweyd y gwir. Hyny a wnaf; ac os cyfertydd câr neu gyfaill i mi â'r ysgrifen hon, gwybydded nad oes genyf air i'w dynu yn ol.

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### PA LE Y CAFODD MOSES Y GYFRAITH HONO?

MEWN tref yn un o Daleithiau Gogleddol yr America yr oedd cyfreithiwr o ddawn ac enwogrwydd yn byw, ond yn ŵr nodedig o ddigrefydd. Yr oedd ganddo fachgen o Negro yn ei wasanaeth; a byddai yn arswyd i'w gymydogion ei glywed yn rhegu'r bachgen du mor ofnadwy. Un diwrnod, cyfarfu'r gŵr hwn â henadur (*elder*) perthynol i'r Eglwys Bresbyteraidd, a'r hwn oedd yntau yn gyfreithiwr, ac a ddywedodd wrtho, "Yr wyf yn awyddus am wneyd ymchwiliad i wirionedd y grefydd gristionogol. Pa lyfrau y cynghorech fi i'w darllen ynghylch y profion o wirionedd Cristionogaeth?"

Yr henadur, gan synu wrth yr ymofyniad, a atebodd, "Y mae hwnyna yn gwestiwn y dylasech ei benderfynu er ys hir amser bellach. Ni ddylasech adael mater mor bwysig i'r tymmor diweddar hwn ar eich oes."

"Nid ydyw yn rhy ddiweddar," ebe yr ymofynydd. "Ni wybûm i erioed ond ychydig ynghylch hyn; ond yr oeddwn i yn wastad yn tybied fod Cristionogaeth yn wrthodedig gan y mwyafrif o bobl ddysgedig. Yr wyf yn awr yn bwriadu, pa fodd bynag, ymchwilio i'r mater yn drwyadl. Mae afiechyd marwol, fel y dywed fy meddyg, ynglŷn wrthyf, dan ba un y gallaf fyw ryw flwyddyn â hanner neu ddwy flynedd, ond nid yn hŵy, dybygid. Pa lyfrau y gwnaech fy nghynghori i'w darllen?"

"Y Bibl," atebai yr henadur.

"Yr wyf yn gweled nad ydych yn fy neall," dywedai yr anghredadyn yn synedig; "eisieu sydd arnaf chwilio i wirionedd y Bibl."

"Wel, mi a'ch cynghorwn," ebe yr henadur eilwaith, "i ddarllen y Bibl. Ac mi a roddaf i chwi fy rhesymau. Mae y rhan fwyaf o anffyddwyr yn anwybodus iawn am yr Ysgrythyrau. Yn awr, i ymresymu ynghylch unrhyw bwnc gyda chywirdeb, rhaid i ni ddeall am ba beth y byddwn yn ymresymu. Yn y lle nesaf, yr wyf yn ystyried fod y profion mewnol o wirionedd yr Ysgrythyrau yn gryfach na'r rhai allanol."

"Ac ymha le y dechreuaf?" gofynai yr anghredadyn; "ai yn y Testament Newydd?"

"Nage; dechreuwch yn y dechre—yn Genesis."

Yr anffyddiwr a brynodd Esboniad, ac a aeth adref, ac a eisteddodd i astudio'r Bibl o ddifrif, gyda holl graffder a chryfder ei feddwl. Fel yr oedd yn myned ymlaen o bryd i bryd, byddai yr henadur yn galw arno yn achlysurol; a byddai yr anffyddiwr mewn modd rhydd yn gwneyd sylwadau ar yr hyn a ddarllenodd, ac yn adrodd ei wrthddadleuon. Yr oedd yn hoffi y rhan hon, yn gweled lle arall yn brydferth neu gynhyrfiol, ond yn methu credu hynacw. Un hwyr galwodd yr henadur gydag ef, ac a gafodd y gŵr digred yn ei dŷ, neu ei swyddfa, yn myned yn ol ac ymlaen ar hyd yr ystafell â gwedd bendrist arno, ac yn ymddangos fel un wedi ymgolli mewn dwys feddylfryd.

Yr henadur o'r diwedd a ddywedodd, "Yr ydych yn ymddangos wedi eich llyncu mewn syn-astudiaeth. Am ba beth yr ydych yn meddwl?"

"Yr wyf wedi bod yn darllen y Deg Gorchymyn," oedd yr ateb.

"Wel, beth yr ydych yn ei feddwl am danynt, neu am y gyfraith foesol, fel y dywedwn?"

"Mi ddywedaf i chwi pa sut y byddwn i o'r blaen yn arfer meddwl. Yr oeddwn yn tybied fod Moses yn arweinydd myntai o yspeilwyr, ac oddiar fod ganddo feddwl cryf, iddo ennill dylanwad mawr ar bobl ofergoelus, a'i fod ar Fynydd Sinai yn chware math o *fire-works*, er syndod a braw i'w ganlynwyr anwybodus, y rhai, oddiar gymysgedd o ofn ac ofergoeledd, a ddychymygent fod yr arddangosiad yn oruwchnaturiol."

"Ond beth yr ydych yn ei feddwl yn bresennol?" medd yr henadur.

"Yr wyf wedi edrych i natur y gyfraith. Bum yn ceisio gweled a allaswn i chwanegu dim ati, neu gymeryd rhywbeth ymaith oddiwrthi, fel ag i'w gwneyd yn well. Ond nis gallaswn; yr wyf yn ei chael yn berffaith. Mae'r gorchymyn cyntaf yn peri i ni gymeryd ein Creawdwr yn wrthddrych ein cariad a'n parch goruchaf. Mae hyny yn iawn. Os efe yw ein Creawdwr, ein Cynnaliwr, a'n Cymwynaswr mawr, ni a ddylem ei ystyried a'i gymeryd ef, ac nid neb arall, fel y cyfryw. Mae yr ail yn gwahardd eilunaddoliaeth; a rhaid fod hyny yn iawn hefyd. Mae'r trydydd yn gwahardd geiriau yn anmharchu enw y Bôd mawr; a'r pedwerydd yn penodi amser i addoliad crefyddol; ac os oes Duw yn bod, efe a ddylai, yn ddiau, gael ei addoli. Mae yn weddus talu addoliad allanol yn arwyddol o serch a pharch y meddwl. Os yw Duw i'w addoli, mae yn briodol fod rhyw amser yn cael ei neillduo i'r perwyl hwnw, pryd y gallo pawb ei addoli ef yn gyduuol ac yn ddirwystr; ac y mae yn sicr nad yw un dydd o saith yn ormod at

hyny. Mae y pummed yn dynodi y dyledswyddau neillduol sy'n codi oddiar berthynasau teuluaidd. Wedi hyny y mae camwri â'n cymydogion yn cael eu nodi, a'u dosbarthu i droseddau yn erbyn bywyd, diweirdeb, perchenogaeth, a chymeriad. Ac yr wyf yn sylwi fod y prif drosedd ymhob dosbarth yn cael ei wahardd yn benodol. Felly y niwed mwyaf i fywyd yw llofruddiaeth—i ddiweirdeb, godineb—i berchenogaeth, lladrad—ac i gymeriad, anudoniaeth. Yn awr, rhaid fod y trosedd mwyaf yn cynnwys pob trosedd llai o gyfryw ansawdd. Rhaid fod llofruddiaeth yn cynnwys pob niwed i fywyd, a godineb pob niwed i burdeb, ac felly am y lleill. Ac y mae'r gyfraith hon yn cael ei chau i fyny gyda gorchymyn yn gwahardd pob chwennychiad anaddas, anweddus, ynglŷn â'n cymydogion. Yr wyf wedi bod yn meddwl, O ba le y cafodd Moses y gyfraith hon? Darllenais hanesyddiaeth. Yr oedd yr Aiphtiaid a'r cenedloedd cymydogaethol yn eilunaddolwyr; felly yr oedd y Groegaid a'r Rhufeiniaid; ac erioed ni ddarfu y rhai doethaf a goreu ymysg y Groegwyr a'r Rhufeinwyr roddi y fath reol o foesoldeb ag ydyw'r gyfraith hon. Ymha le y cafodd Moses y fath gyfraith, sydd yn rhagori ar ddoethineb ac athroniaeth yr oesau mwyaf goleuedig? Yr oedd efe yn byw o fewn tymmor anwaraidd mewn cymbariaeth; ond dyma efe yn rhoddi cyfraith yn yr hon nas gall dysg na chraffder unrhyw oes ddilynol ganfod yr un gwall. Ymha le y cafodd efe hi? Nis gallasai ymddyrchafu can belled uwchlaw ei oes fel ag i'w dyfeisio o hono ei hun. Yr wyf wedi fy narbwyllo am y lle y cafodd efe hi. Hi a ddaeth i lawr o'r nefoedd. Yr wyf yn argyhoeddedig o wirionedd crefydd y Bibl."

Yr anffyddiwr—heb fod yn anffyddiwr mwyach—a barhäodd hyd ddydd ei farwolaeth i gredu yn gadarn yn ngwirionedd Cristionogaeth.

---

1 CORINTHIAID XV. 43—45: "Efe a heuir yn gorff anianol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol. Y mae corff anianol, ac y mae corff ysbrydol. Felly hefyd y mae yn ysgrifenedig, Y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diweddaf yn Ysbryd yn bywhâu. Eithr nid cyntaf yr ysbrydol, ond yr anianol, ac wedi hyny yr ysbrydol."

Y CYFIEITHIAD llythyrenol o'r gair a ddarllenwn ni yma yn *anianol* yw *eneidiol:* "Efe a heuir yn gorff eneidiol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol. Y mae corff eneidiol, ac y mae corff ysbrydol." Ceir y sylweddair i'r ansoddair sydd genym ni yn *anianol* yn adn. 45: "Y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw (ψυχὴν ζῶσαν)." Tröer y gair enaid yn ansoddair, a dyna ni yn cael y gair *eneidiol:* corff eneidiol (ψυχικὸν). Mae yr ansoddair *eneidiol* yn golygu rhywbeth sydd yn neillduol i, ac yn nodweddiadol o, y corff fel y mae yn awr yn y fuchedd hon, a'r corff *ysbrydol* yr hyn a fydd yn briodol i'r corff fel y ceir ef yn yr adgyfodiad. Yn ol syniad y rhai gynt, a pha syniad a gawn yn yr Ysgrythyr Lân, y mae dyn yn gynnwysedig o gorff, enaid, ac ysbryd. Yr ydym ni yn gyffredin yn cymeryd enaid ac ysbryd i arwyddo yr un peth, sef y rhan uchaf, benaf, y rhan ysbrydol, o'r naturiaeth ddynol. Ond nid felly y mae yr apostol Paul yn gwneyd yn y geiriau dan sylw. Mae efe yn llefaru am yr enaid fel rhywbeth gwahanol oddiwrth yr ysbryd; rhywbeth is yn ei natur, yn gysylltiedig yn awr â chorff cydnaws âg ef ei hun, ac yn llefaru am yr ysbryd fel rhywbeth o ansawdd uwch na'r enaid, yr hwn y bydd corff yr adgyfodiad yn gymhwys i'w breswylfa, ei wasanaeth, a'i fwyniant yn y byd a ddaw. Y mae yn awr yn gorff-enaid, ac yn y dyfodol bydd yn gorff-ysbryd. Mae yr apostol yn olrhain ein bôd eneidiol, neu yr enaid anifeilaidd, fel yr arferwn ei alw, i fyny at Adda, ein tad daearol cyntaf. "Y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw;" a chyffelyb i'r enaid byw a gafodd efe gan ei Greawdwr, ac a lygrodd efe trwy ei anufudd-dod camweddus, yw yr enaid ymhob un o'i hiliogaeth. Ond y mae "yr Adda diweddaf"—ail Ben mawr neu Ganolbwynt ein dynoliaeth—"yn Ysbryd yn bywhâu." Angeu a'r bedd a ddygwyd i ni trwy yr Adda cyntaf; ond yr Adgyfodiad a'r Bywyd yw yr Adda diweddaf.

"Eithr nid cyntaf yr ysbrydol, ond yr eneidiol, ac wedi hyny yr ysbrydol." Corff wedi ei gyfaddasu i'r ddaear—i'r enaid megys ei gwnaed i ddyn fel dinesydd y byd hwn—y corff a gaed i lawr o'n tad Adda,—dyna sydd genym yn gyntaf. Nid rheol a threfn creadigaeth Duw yw i ni gyrhaedd hyd binacl dynoliaeth ar unwaith. Perffeithiad yr iachawdwriaeth trwy Adda yr ail a fydd y corff ysbrydol a gaiff eiddo Crist yn y dydd diweddaf.

Mae yn ddiau y gallem gael llawer o oleuni ar bynciau duwinyddiaeth, yn naturiol ac yn ysgrythyrol, pe byddem yn dirnad yn well am "wahaniad yr enaid a'r ysbryd." Perthyn i'r enaid, yn ol yr ystyr ger ein bron, y mae'r teimladau o serchogrwydd sydd yn ffynu rhwng rhieni a phlant. Mae hyd yn nôd anifeiliaid direswm, tra y bydd eu rhai ieuainc mewn cyflwr dibynol arnynt, ac anghen am eu gofal, yn dangos y serch cryfaf tuag atynt. Mae yn rhaid wrth y serchogrwydd hwn mewn dynolryw tuag at yru'r byd yn ei flaen. Tosturi at ein cydgreaduriaid mewn

cyfiawnder, ac awyddfryd i'w cynnorthwyo, —ynglŷn â'r enaid y mae hyn hefyd. Ac yn enwedig y mae yr hyn a elwir yn dymherau naturiol yn perthyn yn benaf i'r enaid. Mae y rhai hyn yn fynych yn cael edrych arnynt yn bethau cyfansoddiadol—pethau y mae gwahanol bersonau yn gwahaniaethu yn fawr ynddynt, hyd yn nôd o'u genedigaeth; rhai yn addfwynach, a rhai yn fwy ffrom. Mae gras, yn wir, yn sancteiddio ac yn gwneuthur defnydd o'r dymher naturiol; ond gall dyn fod o dymher dawel a chariadlawn heb feddu gras y bywyd. Y mae yr enaid anifeilaidd hwn yn marw gyda'r corff; ac nid oes yn byw wedi i'r corff farw ond yr ysbryd anfarwol. Adgyfodir y corff, eiddo yr anghyfiawn fel eiddo'r cyfiawn; ond yr ydym yn credu nad adgyfodir yr enaid anifeilaidd, gan na fydd ei eisieu gyda phethau'r byd ysbrydol. Fel hyn bydd yr annuwiol yn y byd a ddaw wedi colli ei holl ddaioni ymddangosiadol yma—pob nwyd a theimlad dymunol oedd yn peri iddo edrych yn hawddgar yn ei oes, ac heb ddim yn aros ond corff gydag ysbryd wedi ei roi i fyny yn hollol i rym chwantau cynddeiriog na bydd yn bosibl eu boddhâu a'u diwallu yn dragywydd. Ond dedwydd fydd y duwiol pan fyddo yr hyn a heuir yn gorff eneidiol wedi ei gyfodi yn gorff ysbrydol; yr ysbryd yn berffaith sanctaidd a gwynfydedig, a'r corff wedi ei gymhwyso i dderbyn yr ysbryd pur, ac i fod yn un âg ef byth mwyach, mewn ystâd lle na bydd afiechyd, na dyoddefaint, na bwyta, nac yfed, na newyn, na syched, na chwsg, na nos, na blino, na heneiddio, na marw mwy—ysbrydoedd dynol mewn cyrff ysbrydol, "fel yr angylion sydd yn y nefoedd."

## Darlleniadau Detholedig.

### CRIST YN FRENIN.

MEWN teyrnas mae y bobl yn bod cyn y byddo brenin arnynt; ond yn nheyrnas Crist nid oes ond y neb a dŷno efe i mewn. Y mae efe yn eu tynu o deyrnas arall, sef teyrnas y diafol: "Yr hwn a'n gwaredodd ni allan o feddiant y tywyllwch, ac a'n symudodd i deyrnas ei anwyl Fab." "Defaid eraill sydd genyf, y rhai nid ŷnt o'r gorlan hon; y rhai hyny hefyd sydd raid i mi eu cyrchu, a'm llais i a wrandawant." Peth rhyfedd! pe byddai teyrnas gyfoethog, llawn o bob daioni, lle y gallid byw yn ddiardreth, pwy nad ymwthiai iddi â'i holl egni? Teyrnas yr Iesu sydd lawn o bob peth dymunol ag sydd yn perthyn i fywyd a duwioldeb, ac eto mae yr Arglwydd weithiau am ugain neu ddeng mlynedd ar hugain cyn perswadio rhai i ddyfod i mewn iddi. Rhyfeddwn dynerwch, tosturi, a thrugaredd Duw tuag at ddynion, y rhai y mae efe yn eu cael fel Pedr yn y cyffion yn cysgu. Megys yr arweiniwyd ef o'i gadwynau gan yr angel, felly y gwna yr Arglwydd â ni. Yr ydym yn cysgu yn ein pechodau; ac y mae yr Arglwydd yn dyfod ac yn taro ar ein cydwybodau, nid ar ein hochrau, ac yn ein dwyn trwy'r porth haiarn —lleoedd o beryglon; ac ni orphwys nes ein dwyn i'r ddinas, yr hon yw ei deyrnas fendigedig ei hun.

Mae efe yn Frenin ag sydd yn astudio daioni ei eglwys. Mae Aristotle yn dangos y gwahaniaeth sydd rhwng brenin a gormesdeyrn: un yn ceisio daioni ei ddeiliaid, a'r llall ei ddaioni ei hun. Nid yw Esaiah xi. ond dangosiad o'r daioni mawr a ddaw o deyrnasiad Crist; ac yn llyfr y Salmau y dywedir, "Efe a wared yr anghenog pan waeddo; y truan hefyd, a'r hwn ni byddo cynnorthwywr iddo." Llawer gwaith y meddyliem ni fod pethau yn myned yn wrthwyneb i'r eglwys; ond cyhyd ag y byddo Crist yn Frenin arni, bydd y cwbl er cysur iddi. Mewn awrlais y mae rhai rhodau yn troi yn groesion—rhai yn gyflymach a rhai yn arafach; eto y mae pob un yn ateb y dyben i beri i'r awrlais gerdded; felly y mae pob peth, trwy ddirgelaidd law Duw, yn troi er daioni ei bobl. Yn Matthew viii. 23, y mae gweinidogaeth ryfedd: mae Crist yn mynu ei ddysgyblion i'r llong; ac y mae'r gwynt yn cyfodi, a'r tònau yn curo; pawb yn debyg o foddi, a Christ yn cysgu. Ond pan ddeffrôdd yr Iesu, efe a ymlidiodd ymaith eu holl ofnau, fel y gloewodd eu dealltwriaethau yn fwy nag erioed, ac y dywedasant, "Pwy yw hwn, gan fod y gwyntoedd hefyd a'r môr yn ufuddhâu iddo?" Dywedai Jacob, "Simeon nid yw fyw, a Joseph nid yw fyw; yn fy erbyn i y mae hyn oll." Nage, nage, yr hen Jacob! o dy ochr di y mae hyn oll; er dy fod yn hên, ti a gei eto olwg mor ardderchog arnynt ag a gefaist erioed.—*Daniel Rowlands, Llangeitho.*

### PERFFEITHIAD YR EGLWYS.

DACW hen long fawr iachawdwriaeth, yr hon a gychwynodd allan o borthladd Eden i nofio yn môr truenus ein byd ni, ac i godi plant y codwm rhag boddi, a'u dwyn i ddiogelwch byth. Dacw hi ar ei mordaith, yn codi rhai yn awr a phryd arall, mewn oes ar ol oes. Dacw hi yn cael ei gyru yma a thraw gan awelon rhagluniaeth, ac felly y daeth i Brydain ac i Gymru; rhagluniaeth â'i chwythodd yma. Ac wedi iddi fod ar ei mordaith am filoedd o flynyddoedd, ac achub tyrfa afrifed o blant Adda rhag boddi byth, bydd iddi yn y diwedd gyrhaedd yr hafan ddymunol, a'i llwyth yn llawn—yn dyrfa nas gall neb eu rhifo. A bydd ei Chapten yn y dydd hwnw yn ei chyflwyno yn llawn llwyth wedi gorphen y fordaith, i Dduw Dad, gan ddywedyd, "Ni chollais i yr un."

Y pryd hwnw bydd rhagluniaeth Ddwyfol wedi gorphen ei gwaith, a chyrhaedd ei dyben. Perffeithio corff Crist ydyw y dyben; a bydd hyny wedi ei gyrhaedd. Y mae holl droion rhagluniaeth i wasanaethu i'r prynedigaeth: y tywyll cystal â'r goleu—y pethau trymion cystal â'r pethau ysgafn—y taflu i garchar cystal â'r codi i fod yn llywydd ar y wlad—y bwrw i ffau'r llewod cystal â'r codi yn brif swyddog y llŷs—y taflu ar y domen cystal â'r codi i lwyddiant ar ol hyny—cynhwrf y byd cystal â'i lonyddwch. Mae rhyfeloedd Cyrus yn agor y ffordd i bobl Dduw ddychwelyd i'w gwlad; mae terfysg y pedair breniniaeth i arloesi'r ffordd i freniniaeth y groes fyned i fyny; bydd rhwysg Napoleon yn foddion i dori cyrn y bwystfil; cynhyrfiadau'r byd yn agor y ffordd i gerbyd y Cyfryngwr—gwyntoedd ac ystormydd rhagluniaeth yn chwythu hen long fawr y prynedigaeth i'r hafan ddymunol—a berwi'r byd fel pair yn peri berwi ei ysgùm ymaith, ac i gael aur y cyfammod yn berffaith bur, yn gymhwys i gael ei gyflwyno i'r Tad. Berwed y byd, chwythed Satan y tân, a phrocied y rhai annuwiol y ffwrn, er peri iddi fflamio mwy, gwyddom mai yr holl amcan yw tynu ymaith yr anwiredd, a chael aur y prynedigaeth oll yn bur. Y pryd hwn y bydd holl fwriadau Duw wedi cael eu cyflawni. Bydd yr Arglwydd Iesu erbyn hyn wedi troi holl fwriadau Duw yn weithredoedd. Bydd meddyliau tragywyddol Duw wedi eu gwlawio ar ynys amser, ac yn rhedeg drosodd yn weithredoedd i fôr tragywyddoldeb. Bydd y gronyn gwenith, a fu farw, wedi tyfu, a'i gnŵd yn addfed, ac yn cael ei gyflwyno i'w gadw yn ysgubor fawr y byd a ddaw; ac yna bydd Duw oll yn oll.—*David Jones, Treborth.*

---

### YR HEDYDD A'R HEBOG.

Mor chwimwth y mae'r hedydd bach ecw yn esgyn i fyny tua'r nefoedd yn uniongyth, pan y mae'r hebog (neu'r gwalch), sydd yn gryfach o gorff ac yn gyflymach ei aden, yn tröellu a chwmpasu llawer wrth ymddyrchafu i'r entrych. Dyna swmp ei gorff a hŷd ei aden ef yn rhwystro iddo fyned i fyny ar linell uniongyth, ac yn gofyn cynnorthwy awyr a lle llydan i ddwyn ymlaen ei ehediad, tra y mae yr aderyn bach yna yn tori trwy yr awyr yn ddiwrthwynebiad, heb eisieu dim yn gymhorth. Y mae yn gyffelyb gydag eneidiau dynion yn dyrchafu tua nef y nefoedd. Mae rhai yn cael eu llesteirio gan y doniau y gallesid tybied a fuasai yn dra manteisiol iddynt ymgodi tuag yno. Mae synwyr mawr, deall craff, dychymyg bywiog, yn fynych yn peri i bobl ymrwystro gyda'r dyb hon a'r wrthddadl arall, ac amgylchynu llawer, wrth fyned i'r uchelder, tra y mae serchiadau gwresog a diragrith eneidiau bychain eu deall a'u dawn yn eu codi rhag blaen i gymdeithas a mwyniant Duw a'r Oen. Paham, gan hyny, y gwnawn falchïo o'r hyn a all arafu ein mynediad i ogoniant? neu paham y digalonwn os heb feddu ond mesur bychan o'r hyn, gyda chalon hawddgar a da, y gall llai o hono rwyddhâu ein ffordd i wir ddedwyddwch?—*Esgob Hall.*

---

### BETH YW EIN DYLED I'R IUDDEWON?

Y MAE bywyd ac eiddo o fewn Prydain Fawr yn cael eu cadw gan gyfreithiau Sinai; a chan yr unrhyw gyfreithiau y mae dydd o orphwysfa ymhob saith niwrnod yn cael ei sicrhâu iddynt hwy sydd yn gweithio yn galed. Ac eto y mae pobl Lloegr yn erlid yr Iuddewon, ac yn eu gwaradwyddo hwy i'r rhai y maent mor ddyledus am esmwythâd llafur. Pan fyddo'r dosbarth gweithiol yn cael yspaid o lonyddwch oddiwrth orchwylion sydd agos càn drymed â chaethiwed yr Aipht, ac yn troi am sirioli ysbryd trallodedig at farddoniaeth ddeniadol, pa delyn a chwareuir er adloniad i'r prudd a'r diffygiol? Pwy yw y bardd mwyaf poblogaidd yn y wlad hon? A geir ef ymysg Wordsworthiaid neu Byroniaid y gân? Neu a geisiwn ni ef ymhlith y ffraethwyr yn amser y Frenines Anne? Ynte a roddwn ni y flaenoriaeth i Shakspeare, y meddyliwr amrywiaethol? Nage ddim; y bardd mwyaf poblogaidd yw peraidd ganiedydd Israel. Er dyddiau yr hen etifeddiaeth yn Israel, pryd yr oedd pob un yn eistedd dan ei winwydden a than ei ffigysbren, ni bu bobl yn y byd yn canu mor fynych odlau Dafydd â phobl Prydain Fawr. Er fod yr holl deulu dynol dan rwymedigaethau mawrion i'r genedl Hebreaidd, nid oes un gyfran o honynt yn yr oesau diweddar mor ddyledus iddynt â'r Prydeiniaid. "Cleddyf yr Arglwydd a Gedeon" sydd wedi ennill i'r deyrnas y breiniau yr ymffrostir cymaint o'u herwydd. Dan ganu yr un caniadau ag oedd yn sirioli calon Judah yn ei glynnoedd, y darfu i'r Ysgotiaid ar ochrau eu bryniau ennill eu rhyddid crefyddol. Wele, paham y mae'r Sacsoniaid a'r Celtiaid mor chwannog i erlid hiliogaeth Arabaidd, oddiwrth ba genedl y cawsant y cyfreithiau rhagoraf, ac yn nalenau llenyddiaeth pa rai y maent yn cael addysg a chysur gwastadol? Dyna'r cwestiwn mawr y gellir yn deg ei ofyn i oes oleuedig, ond i ba un y byddai hyd yn nôd y bedwaredd ganrif ar bymtheg, sydd mor hunanfoddlonol, yn teimlo cryn anhawsder i roddi atebiad.—*Y diweddar Iarll Beaconsfield.*

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

Os awn, wrth drin dynion, i wrthwynebu gwylltineb mewn gwylltineb, a chas trwy gas, bydd hyny yr un peth â cheisio diffodd tân gydag olew berwedig.

Fel afal pwdr yn estyn pydredd i'r afalau o'i amgylch, felly y mae cydymaith anrasol.

Haws meddwl yn iawn heb wneuthur yn iawn, na gwneuthur yn iawn heb feddwl yn iawn.

Yr hwn, wrth adeiladu ei dŷ, a ddilyna bob cynghor a roddir iddo gan bawb, a gaiff dŷ gwyrgam ac anolygus.

Anghen mwyaf dyn tuag at fod yn llwyddiannus ydyw, nid dawn dymunol, ond amcan

penderfynol, neu, mewn geiriau eraill, nid gallu a medr, ond ewyllys ac amynedd i lafurio.

Na fyddwch fyw mewn gobaith gyda dwylaw ymhlêth. Mae llwyddiant yn gweini ar y bobl sydd yn torchi eu llewys ac yn codi'r baich ar eu hysgwyddau.

Un rheswm fod y byd heb ei ddiwygio eto yw, fod y rhan fwyaf o ddynion am i eraill ddechre, ac heb feddwl am ddechre eu hunain.

Nid yr hyn sydd genym, eithr y peth ydym, sydd o bwys tuag at gyrhaedd gwir anrhydedd a dedwyddyd.

Mae yr hen chwaer sydd yn galw trallodau pobl eraill yn farnedigaethau, a'i thrallodau ei hun yn brofedigaethau, heb farw hyd yn hyn.

Yn mhrydnawn bywyd y mae beïau, fel cysgodion, yn myned yn fawrion a hyllion iawn.

Cyn ymrafaelio â neb, mynwch wybod a ydyw yr hyn yr ydych ynddo yn gwahaniaethu oddiwrth arall yn werth ymryson yn ei gylch.

Mae yr iawn a'r llawn ddyn yn dra chwannog i esgusodi eraill am eu diffygion, ond nid byth i'w esgusodi ei hun.

# Barddoniaeth.

## YR AMDDIFAD.

Pwy welaf fi mor wael ei wedd,
  Ar fin y bedd yn wylo?
Pa beth a wna mewn lle fel hyn,
  Fel pe yn synfyrio?
Amddifad yw yn wlyb ei rudd—
  Mae 'i fam yn nghudd yn huno;
Ac aml y daw i'r fynwent hon,
  A'i galon bron ymrwygo.

Heb dad, heb fam, heb chwaer, na brawd,
  Ei ffawd sydd ddrwg ryfeddol,
Heb ffrynd o fewn y byd i gyd,
  Heb gartref clyd a siriol:
Mae yn gwynebu 'r creulawn fyd,
  Heb neb i gydymdeimlo;
Trwy 'r gwynt a'r gwlaw o ddrws i ddrws,
  Mae 'r bychan tlws yn crwydro.

Disgyna ar ei glust bob dydd,
  "Ychydig sydd i'w *spario;*"
Newynllyd yw, a llwm, a phrudd,
  A'i gnawd bob dydd yn curio:
O! gyflwr trwm,—mae hyn yn glir,
  Fod hwn yn *wir* amddifad;
A oes o fewn y byd yn grwn
  A rydd i hwn groesawiad?

O engyl nef, tosturiwch chwi,
  A chlywch ei gri galarus,—
"'R wy 'n cofio er fy nirfawr glwy,'
  Am adeg mwy cysurus,
Pan oedd fy nhad a'm serchog fam
  Yn dyner yn fy ngwylio;
Gan ofn i mi gael unrhyw gam,
  'R oedd calon mam yn fflamio.

"Eu symud wnaeth rhyw farwol wynt—
  Tragwyddol hynt yw hefyd;
Mae 'r ddau yn awr yn iach heb boen,
  Fry gyda 'r 'Oen' mewn gwynfyd:
Amddifad wyf, O frawddeg drist!
  O boed i Grist fy ngwrando;
Derbynied fi i'w fynwes glyd
  I ffwrdd o'r byd—'r wy 'n gwywo.

"Os na wna 'r byd fy arddel i,
  Clywch ddynion didosturi,
Yn Dad i mi mae Arglwydd nef,
  Fe wrendy Ef fy ngweddi;
Ffarwel yn awr! 'r wyf fi yn myn'd!
  Fry at fy Ffrynd i'r nefoedd."
Ac yna rhoes ei ben i lawr
  Ac angel mawr a'i cipiodd.

R. Ceinwenydd Owen.

*Liverpool.*

---

## MIL HENFFYCH ITI.

Mil henffych iti, seren dlos,
  Uwch meusydd Bethl'em dlawd;
Cyfeiria 'th glaer belydrau cu
  At fan lle genir Brawd:
Pa ryfedd fod y Ddwyfol wyrth
  Yn synu doethion byd,
Tra gwelir lluoedd pur y nef
  Yn plygu uwch ei gryd?

Immanuel! O ryfedd air,
  Duw 'r cariad gyda dyn;
Gwneir cymmod mwy rhwng nef a llawr,
  Gwneir dyn a Duw yn un;
Mae cariad a chyfiawnder pur
  Yn Iesu 'n cwrdd mewn hedd;
Gall euog ddyn nesâu at Dduw,
  Mae croesaw ar ei wedd!

Gadawodd gartref clyd ei Dad,
  A chyfoeth yn ei gôl,
A'r goron ddysglaer gollwyd draw
  Adfera ini 'n ol;
Blodeua llwyni Eden mwy
  Yn hyfryd megys gynt,
A'u peraroglau gludir ar
  Adenydd nefol wynt.

O Sïon, sych dy ruddiau gwlyb,
  A chwyd i fyny 'th ben;
Mae gobaith dy ymwared llon
  Yn claer oleuo 'r nen:
Clyw haleluiau engyl glân
  Yn adsain fry ei glod,
Y Gŵr hir-ddysgwyliedig yw,
  Mae 'th Frenin wedi d'od.

H. J.

*Penygroes,*
*Llanllyfni.*

# Bwrdd y Golygydd.

### EPISTOL CYNTAF PEDR.

*At bwy yr ysgrifenwyd ef?*

AR ol darllen ysgrif y Parch. H. B. Williams, a ymddangosodd yn y DRYSORFA am fis Rhagfyr diweddaf, tueddwyd fi i ysgrifenu y nodiadau canlynol.

Y mae dau olygiad yn cael eu crybwyll yn yr ysgrif dan sylw fel yn ateb i'r gofyniad uchod; sef mai at Iuddewon crediniol yr ysgrifenwyd ef, ac mai at Gristionogion, yn cynnwys Iuddewon a Chenedloedd ei hysgrifenwyd. Y mae y blaenaf yn cael ei wrthod gan Mr. Williams, a'r olaf ei dderbyn fel y mwyaf tebygol. Dichon nad ydyw yn bwysig iawn pa un o'r ddau atebiad crybwylledig sydd gywir; eto y mae iawn synio ar gwestiwn bychan fel hwn yn gynnorthwy nid dibwys i ddeall cynnwys y llythyr. Y mae Mr. Williams, dybygwyf, yn deall hyn, ac yn myntumio fod yr esboniad y rhaid ei roddi ar yr adnodau y cyfeiria atynt yn cadarnhâu ei olygiad; sef pen. i. 14, 18; ii. 9, 10; iii. 6; a iv. 3, gan fod yr adnodau hyn yn cyfeirio at rai a fuasent yn Baganiaid, ac mai y Cenedloedd a ystyrid yn Baganiaid, felly mai Cenedloedd a ystyrid yn yr adnodau crybwylledig.

Cyn y gall yr ymresymiad yma brofi y gosodiad rhagflaenol, y mae yn rhaid profi hefyd na bu neb o'r Iuddewon Cristionogol hyn yn euog o gofleidio Paganiaeth cyn eu dychweliad at Gristionogaeth. Pan feddyliom am ogwydd gwastadol yr Iuddewon at eilunaddoliaeth ar hyd goruchwyliaeth yr Hen Destament, a bod Iuddewiaeth, fel y portreadir hi i ni yn y Testament Newydd, wedi myned mor hollol yn ddefod-wasanaeth—yr ysbrydol wedi ei golli o honi, a hyny yn Jerusalem, prifddinas y grefydd Iuddewig, onid tra thebygol ydyw fod llawer o'r Iuddewon, ag oedd ar wasgar yn y gwledydd eilunaddolgar hyn, i'w gweled yn mynychu temlau yr eilunod, ac yn ymroddi i eilunaddoliaeth? Ymddengys i mi yn dybiaeth hollol gyson â hanes flaenorol y genedl, ac yn dybiaeth a rydd gyfrif am y cyfeiriadau yn y testynau crybwylledig at Baganiaeth gyntefig rhai o'r Cristionogion yr ysgrifenai Pedr atynt.

A rhoddi heibio ein tyb-osodiad, a derbyn golygiad Mr. Williams, onid oes genym fwy o anhawsderau i'w symud? Yn yr Epistol y mae amryw ddyfyniadau o'r Hen Destament, a lleng o dermau y grefydd Iuddewig, yn cael eu defnyddio er gwneuthur yn fwy eglur a dealledig wirioneddau mawrion Cristionogaeth; pethau pwysicaf bywyd tragywyddol yn cael eu dangos trwy ddrychau Hebrëaidd, y rhai oeddynt mor dywyll i'r Cristionogion Cenedlig, os nad yn fwy tywyll, na'r gwirioneddau y ceisiai yr Apostol eu dangos iddynt. A phan feddyliom fod y naill hanner o'r Cristionogion yn y gwledydd hyn yn ddychweledigion oddiwrth Baganiaeth—rhai ag oeddynt yn estroniaid a dyeithriaid i'r grefydd Iuddewig—y mae yn anhawdd cymmodi â'r syniad ddarfod i dywysog yr apostolion eu cyfarch mewn arddull ag oedd o angenrheidrwydd mor hollol ddyeithr iddynt, ac o ganlyniad mor anfanteisiol iddynt tuag at ddeall ei lythyr.

Yn awr, pa un sydd fwyaf tebygol, ai ddarfod i'r awdwr o'i wirfodd ddefnyddio arddull y gwyddai efe na byddai yn ddealledig ond i'r naill hanner o'r rhai yr ysgrifenai atynt, ai ynte iddo ei gyfeirio at y rhan hono o'r eglwysi ag oedd yn abl i'w ddeall yn ngoleuni y cyffelybiaethau a ddefnyddiai, fel ag i'w gwneyd hwy yn athrawon mwy effeithiol, goleuedig, a sefydlog yn ngwirioneddau ysbrydol crefydd Iesu Grist? Y mae Mr. Williams yn ateb fel hyn: "Y mae yn anghredadwy y buasai Pedr, mewn llythyr wedi ei ysgrifenu ganddo i'r fath eglwysi, gyda'r amcan o'u cadarnhâu yn y ffydd, yn pigo allan yr Iuddewon, gan adael o'r neilldu y Cenedloedd crediniol." Pe buasai y llythyr wedi ei gyfeirio at eglwysi fel y cyfryw, buasai rhywbeth i'w ddyweyd dros yr atebiad. Ond er mantais i wybod ai cywir neu ai anghywir yr atebiad hwn, ymofynwn ychydig â thystiolaethau amgylchiadol.

Oddeutu y flwyddyn 52 neu 53, bu dadl boeth iawn yn Rhufain rhwng yr Iuddewon a'r Cenedloedd ynghylch yr enwaediad a pharhâd cyfraith Moses. Yr oedd y cynhwrf y fath fel y gorchymynodd yr ymherawdwr, Claudius Cesar, alltudio yr Iuddewon o Rufain. Y tebyg ydyw i filoedd o'r rhai hyn ymsefydlu yn Asia.

Oddeutu y flwyddyn 57, ysgrifenodd Paul ei lythyr at y Galatiaid, oddiwrth yr hwn y mae yn amlwg fod y defodwyr Iuddewig wedi llygad-dynu y Galatiaid, a'r eglwysi wedi eu lefeinio gan eu heresi hwynt. Digon tebyg ydyw fod perthynas rhwng y gau-athrawon hyn a'r alltudion o Rufain—fod yr alltudio wedi dyfnhâu a chryfhâu eu penboethni a'u brwdfrydedd seremonïol. O'r hyn lleiaf, y mae yn sicr mai Iuddewon oedd y rhai a aflonyddent ar y Galatiaid, a'u bod eisoes wedi llwyddo i blanu eu heresi yn nghanolbarth y gwledydd yr ysgrifenodd Pedr ar ol hyn ei epistolau atynt.

Oddeutu y flwyddyn 61 ysgrifenodd Iago ei epistol "at y deuddeg llwyth ar wasgar." Y mae rhediad ei epistol ef yn arddangos cyflwr o ddirywiad helaeth a thra gwaradwyddus ymysg y rhai yr ysgrifenai atynt; a'i amcan ydyw eu darbwyllo i gredu yn addasrwydd a digonolrwydd trefn syml yr efengyl i gyfarfod â'u holl amgylchiadau.

Oddeutu y flwyddyn 62 ysgrifenodd Paul y llythyr at yr Ephesiaid, yn yr hwn y mae yn arfogi meddwl yr Ephesiaid yn erbyn dysgeidiaeth y rhai a geisient siglo eu hymddiried yn ei awdurdod apostolaidd ef, ac yn nghyflawnder, helaethrwydd, a digonolrwydd cyfoeth gras ar gyfer eu holl anghenion. Y mae yn amlwg fod heresi ddinystriol y gau-athrawon Iuddewig, ag oedd wedi gwreiddio

yn Galatia, yn bygwth ac yn peryglu Ephesus.

Yn niwedd y flwyddyn 62 ysgrifenodd Paul y llythyr at y Colossiaid, oddiwrth ba un y mae yn amlwg fod heresi y defodwyr Iuddewig yn prysur ymffurfio yn eu mysg (pen. ii. 16); ac un o amcanion mwyaf arbenig y llythyr ydyw cryfhâu meddyliau y Colossiaid yn erbyn dylanwad niweidiol y llygrwyr Iuddewig.

Oddeutu y flwyddyn 63, fel y bernir, yr ysgrifenwyd yr epistol at yr Hebreaid. Y mae yn amlwg fod defodaeth Iuddewig erbyn hyn yn cyflym oresgyn holl eglwysi Asia, a bod yn rhaid gwneyd rhywbeth amgen nag ysgrifenu at yr eglwysi; ac wele lythyr yn cael ei gyfeirio at yr elfen hono yndlynt drwy ba un yr oedd yr oddaith heresiaidd yn cael mantais arnynt, cynnwys yr hwn ydyw rhagoriaeth pob peth Cristionogaeth ar bob peth y seremoniau Iuddewig—felly yn cyfarfod â'r goresgynwyr ar eu tir eu hunain.

Oddeutu yr un adeg y mae Silfanus ar ei daith at Pedr i Babilon. Digon posibl ydyw ei fod yn myned oddiwrth Paul o Rufain yn achos ymlediad y ddefodaeth yma, gyda chopiau o lythyrau Paul ac Iago, i gael gauddo gydweithredu i wrthweithio dylanwad andwyol y gau-athrawon yn eglwysi Asia, gwrthddrychau arbenig apostolaeth yr hwn oeddynt; o herwydd yr oedd awdurdod apostolaidd Paul arnynt yn colli, os nad wedi colli y pryd yma (2 Tim. i. 15). Canlyniad yr ymweliad yma o eiddo Silfanus â Pedr ydyw yr epistol dan sylw, cyfeiriedig at "Etholedig ddyeithriaid y wasgarfa ar hyd Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia, a Bithynia,"—y gwledydd ag oedd ar y pryd yn chwareulawr y cyffrawd defodol a gorddid gan Iuddewon Cristionogol.

Ai anghredadwy ydyw, erbyn hyn, i Pedr gyfeirio ei lythyr at yr elfen hon yn yr eglwysi,—yr enwaediad, ag oedd yn rhoddi mantais i'r ysbryd cyfeiliorni i gwbl ddifuddio eglwysi y gwledydd yma, gan eu gwyro oddiwrth symlrwydd yr efengyl, a'u troi heibio at ofer-siarad, gan ewyllysio bod yn athrawon o'r ddeddf, heb ddeall na pha bethau yr oeddynt yn eu dywedyd, nac am ba bethau yr oeddynt yn taeru? I wrthwynebu yr athrawiaethau gau hyn, mae Pedr yn cymeryd ei safle ar ragoriaeth oruchel rhagorfreintiau Cristionogaeth ar ragorfreintiau Iuddewiaeth: rhagorach etholedigaeth—rhagorach galwedigaeth—rhagorach cysegrediaeth—rhagorach gobaith—rhagorach etifeddiaeth—rhagorach iachawdwriaeth—rhagorach dyoddefiadau—rhagorach teml, &c. Y mae yr epistol fel hyn yn ymagor o'u blaen âg un arddangosfa o ragoriaethau y grefydd Gristionogol, mewn modd caruaidd, hollol ddidramgwydd, i'r Iuddewon rhagfarnllyd. Y mae yn gredadwy genyf mai at Iuddewon Cristionogol yr ysgrifenwyd ef.

Y mae genyf ychwaneg i'w ddywedyd fel profion o hynyma; ond ni a adawn y tro hwn ar yr hyn a nodwyd.

J. P.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA LLANGOLLEN.

TACHWEDD 30AIN, A RHAGFYR 1AF A'R 2IL, 1881.

LLYWYDD,—Y Parch. DANIEL ROWLANDS, M.A.

DYDD MERCHER, TACHWEDD 30AIN.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

*O Gyfarfod Misol Môn*:—O berthynas i'r cwestiwn, A oes gan eglwys hawl i ddiswyddo swyddog ar wahân i'r Cyfarfod Misol, penderfynwyd: Ein bod yn barnu, gan fod diacon, yn gystal a phregethwr, yn cael ei osod mewn swydd trwy gydsyniad a than arolygiaeth y Cyfarfod Misol, mai mwy cyson a rheolaidd ydyw i ddiswyddiad diacon, pan y gelwir am hyny, gael ei gario allan o dan yr un arolygiaeth. Ond os dygwydd amgylchiad y byddo anrhydedd crefydd yn galw am sylw ebrwydd, y gall yr eglwys attal y cyfryw swyddog i weinyddu ei swydd.—JOHN WILLIAMS, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Dyffryn Conwy*:—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Brynpydew, Medi 28 a'r 29ain, penderfynwyd,—Ein bod yn ystyried mai dymunol fyddai penodi Goruchwyliwr i arolygu yr holl Achosion Seisonig perthynol i ni fel Cyfundeb yn Ngogledd Cymru,—i ymweled â'r cynnulleidfaoedd gyda golwg ar hyrwyddo y casgliadau, ac i ymofyn am danysgrifiadau a chyfroddion oddiwrth bersonau unigol; fod iddo roddi ei amser at y gwaith, a chael ei dalu yn briodol am ei wasanaeth.—J. WILLIAMS, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Sir Fflint*:—Yn Nghyfarfod Misol Coedllai, Hydref 24ain, 1881, penderfynwyd,—1. Gan ein bod yn deall fod y Gymdeithasfa yn dymuno cael rhyw awgrymiadau o'r Cyfarfodydd Misol am y dull goreu i arolygu yr Achosion Seisonig a'r Genadaeth Gartrefol:—Ein bod yn dymuno awgrymu i'r Gymdeithasfa y priodoldeb o fod Ysgrifenydd y Gymdeithas Genadol Gartrefol i dreulio cyfran briodol o'i amser i ymweled â'r gwahanol Orsafoedd, ac i ymohebu i gynnyrchu ysbryd llafur ynddynt mewn trefn iddynt ddyfod yn hunangynnaliol, ac hefyd i ymweled â'r Siroedd i gynnyrchu dyddordeb yn yr eglwysi yn y lleoedd Cenadol; ac y byddai yn ddymunol ac anghenrheidiol fod yr Ysgrifenydd yn byw

mewn lle manteisiol i arolygu y gwahanol Orsafoedd.—2. Ein bod yn dymuno i'r holl genadau o'r holl Gyfarfodydd Misol gael pleidleisio yn newisiad swyddogion y Gymdeithasfa. Ac ynglŷn â hyn ein bod yn dymuno awgrymu y priodoldeb o newid y dull presennol o ethol swyddogion y Gymdeithasfa, trwy drefnu fod y pleidleisiau dirgel i fod yn unig ar enwau fyddo wedi eu cynnyg ar y pryd, ar bapyr wedi ei arwyddo gan o leiaf bump o gynnrychiolwyr presennol yn y Gymdeithasfa yn yr hon y cymer etholiad le. —JOHN JONES, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd:*—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Llandderfel, Tachwedd 15fed, penderfynwyd,—1. Ein bod yn gofyn caniatâd y Gymdeithasfa i werthu hen gapel Llandrillo.—2. Yn atebiad i'r genadwri a anfonwyd o Gymdeithasfa Llanidloes, yn dymuno awgrymiadau o'r Cyfarfodydd Misol am y dull goreu o arolygu yr Achosion Seisonig a gwneyd y casgliadau,—(1) Ein bod yn barnu mai gwell ydyw ar hyn o bryd i'r casgliadau at yr Achosion Seisonig a'r Genadaeth Gartrefol fod ar wahân fel y maent yn bresennol. —(2) Mai buddiol fyddai appwyntio un Goruchwyliwr i arolygu yr holl Achosion Seisonig yn Nghymru yn gystal a'r eglwysi o fewn maes y Genadaeth Gartrefol.—E. PETERS, *Ysg.*

*Manchester:*—1. Fod Mr. John Davies wedi ei ail benodi yn aelod o Bwyllgor y Genadaeth Gartrefol dros ein Cyfarfod Misol. —2. Ein bod yn dymuno cael hysbysrwydd trwy y Gymdeithasfa ynghylch y genadwri a anfonwyd er ys peth amser yn ol gan Gyfarfod Misol Liverpool gyda golwg ar yswirio ein capelau rhag niweidiau gan dân, ac a gyfeiriwyd yn ol gan y Gymdeithasfa i'r Cyfarfod Misol hwnw am ystyriaeth pellach—pa beth sydd wedi cael ei wneyd, neu a fwriedir ei wneyd ymhellach yn yr achos?—W. JAMES, *Ysg.*

*Henaduriaeth Lancashire:*—O berthynas i'r Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, penderfynwyd,—1. Ein bod yn barnu mai dymunol yw i'r Casgliadau at y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig gael eu cadw ar wahân fel y maent yn bresennol.—2. Ein bod yn ystyried mai dymunol fyddai i un Goruchwyliwr gael ei benodi i arolygu y ddau achos yma, a bod y cyfryw Oruchwyliwr i gyflwyno ei holl amser i'r gwaith, a manylion y gwaith i gael eu nodi gan y Cyfeisteddfod.—3. Fod Cyfeisteddfod i gael ei ffurfio ymhob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth i gydweithredu â'r Goruchwyliwr Cyffredinol yn arolygiaeth gorsafoedd y Genadaeth Gartrefol a'r eglwysi sydd mewn cysylltiad â'r Gronfa Seisonig, i drefnu ar gyfer gwneyd y Casgliadau, ac i ystyried pa leoedd y dylid cychwyn achosion newyddion.—4. Yn gymaint a bod y Cyfarfodydd Misol canlynol yn cael eu cynnwys o fewn yr un terfynau daearyddol, yr ydym yn awgrymu, yn 1af, ar i Gyfeisteddfod Unedig gael ei ffurfio o Gyfarfodydd Misol Liverpool, Sir Fflint, a Henaduriaeth Lancashire. Yn 2il, ar i Gyfeisteddfod Unedig gael ei ffurfio o aelodau dau Gyfarfod Misol Sir Drefaldwyn a Henaduriaeth Trefaldwyn, i ystyried lle y dylid cychwyn Achosion Seisonig newyddion.—5. Ein bod o'r farn mai buddiol i'r eglwysi sydd mewn cysylltiad â'r Gronfa Seisonig fyddai i'w swyddogion ymgyfarfod yn achlysurol i gydymgynghori a chalonogi y naill y llall.—6. Ein bod yn ystyried mai dymunol fyddai i'r Casgliad at y Genadaeth Gartrefol gael ei osod ar wahân ac ar ei deilyngdod ei hun o flaen yr holl gynnulleidfaoedd unwaith yn y flwyddyn.—EDWARD JERMAN, *Ysg.*

Derbyniwyd hefyd yn genadwri o Gyfarfod Misol Manchester, fod Mr. John Davies, Salford, wedi ei ddewis yn aelod o Bwyllgor Gweithredoedd y Capelau.—Ac o Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, fod y Parch. Lewis Ellis, Rhuddlan, a Mr. Thomas Roberts, Dinbych, wedi eu dewis yn aelodau o Bwyllgor y Drysorfa Gynnorthwyol.—Ychwanegwyd rhai pethau at y rhai oedd eisoes ar y Rhaglen, a phenodwyd nifer o frodyr i dynu allan benderfyniadau i'w cyflwyno i'r Gymdeithasfa ar farwolaeth Syr Hugh Owen, ar Adroddiad y Dirprwywyr ar Addysg Ganolraddol ac Uwchraddol yn Nghymru, ac ar fynediad Mr. Thomas Lewis i ymweled â Bryniau Cassia.

III. Cafwyd sylw ar y pwnc y cyfeirir ato yn y genadwri o Sir Fôn, sef y cwestiwn a ofynasid gan Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd am y modd y dylid diarddel a diswyddo swyddogion. Dygwyd ar gof sylwedd yr hyn oedd wedi ei draethu ar hyn yn y Gymdeithasfa o'r blaen, a chyttunwyd ar benderfyniad i'w gynnyg ar y pwnc yn y Gymdeithasfa hon, yr hwn a welir yn nghofnodau y cyfarfod am ddau o'r gloch dydd Iau.

IV. Gwelir fod Cenadwriaethau wedi dyfod o amryw o'r Siroedd yn dwyn perthynas âg arolygiaeth y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, ac â phenodiad Ysgrifenydd neu Oruchwyliwr i ymweled â'r gorsafoedd ac â'r Cyfarfodydd Misol er sicrhâu trefn a gweithgarwch yn yr holl orsafoedd, ac er ennyn zel yr eglwysi yn y Siroedd i gynnal yr achosion hyn; ond gan fod y cenadwriaethau wedi eu cyflwyno gan Ysgrifenydd y Gymdeithasfa i'r brawd a weithredai fel Ysgrifenydd Pwyllgor Unedig y ddau achos, a bod yr holl fater wedi cael ystyriaeth fanwl y Pwyllgor hwnw mewn dau eisteddiad maith ynglŷn â'r Gymdeithasfa hon, nid aethpwyd i mewn ond ychydig i fater y cenadwriaethau hyn; eithr cafwyd hysbysrwydd gan Ysgrifenydd y Pwyllgor beth oedd ffrwyth eu hymgynghoriad hwy ar y pwnc pwysig hwn, yr hwn y bwriedid ei gyflwyno yn ffurfiol i'r Gymdeithasfa y dydd canlynol. Amlygwyd cymeradwyaeth o'r hyn a wnaed, a diolchgarwch i aelodau y Pwyllgor am y sylw dyfal a roddwyd ganddynt i'r achos hwn.

V. Dygwyd i sylw y genadwri o Gyfarfod Misol Sir Fflint o berthynas i bleid-

lais y Siroedd yn newisiad swyddogion y Gymdeithasfa, a'r modd i fyned ymlaen gyda'u dewisiad. Caed eglurhâd gan gynnrychiolwyr y Sir hono ar yr hyn oedd mewn golwg wrth anfon y genadwri, ac adgofiwyd y penderfyniad y daethpwyd iddo ar bwnc Llywyddiaeth y Gymdeithasfa yn Nghymdeithasfa Pwllheli ddwy flynedd a chwarter yn ol. Yn unol â'r genadwri o Sir Fflint, cynnygiwyd a chefnogwyd ar fod yr holl gynnrychiolwyr yn cael pleidleisio ar bob pwnc a ddelo ger bron y Gymdeithasfa. Amlygwyd gan amryw swydd cryf i ymdrechu dyfod i ryw benderfyniad ar y mater o ddewis swyddogion a fyddo yn rhoddi boddhâd cyffredinol i'r holl Siroedd, ac felly yn rhoddi y mater hwn i orphwys am dymmor. Tybid gan rai mai dychwelyd at yr hen drefn syml o ddewis brawd i lywyddu o blith y rhai fyddo yn bresennol ar y pryd fyddai oreu, y drefn y buwyd yn gweithredu yn ei hol hyd o fewn chwe' blynedd ar hugain yn ol. Dadleuid fod parotoad rhaglen argraffedig fel sydd genym yn awr yn hwylusdod mawr tuag at i unrhyw un cymhwys ddwyn ymlaen weithrediadau y Gymdeithasfa yn effeithiol, er iddo gael ei alw yn ddirybudd at y gorchwyl. Teimlid, pa fodd bynag, nad oedd y cyfarfod yn unfrydol ar y mater hwn, a gwell gan rai brodyr fuasai cael pleidlais y cyfarfod hwn ar ran o'r cwestiwn, sef yr hyn a ddygasid ymlaen yn genadwri o Sir Fflint. Penderfynwyd gohirio yr holl achos hyd y Gymdeithasfa nesaf.

VI. Cafwyd gair byr ar y genadwri o Manchester o berthynas i yswirio capelau y Cyfundeb; ond gan nad oedd unrhyw eglurhâd pellach wedi dyfod o Gyfarfod Misol Liverpool, i'r hwn y cyfeiriwyd y mater yn ol yn Nghymdeithasfa Abergele, nid oedd parodrwydd i fyned ymhellach i mewn i'r mater yn y Gymdeithasfa hon.

VII Cyttunwyd i gyflwyno penodiad Mr. John Davies, Salford, yn aelod o Bwyllgor y Genadaeth Gartrefol, i gael ei gadarnhâu gan y Gymdeithasfa, a'r un modd ei benodiad yn aelod o Bwyllgor Gweithredoedd y Capelau.

VIII. Cydolygwyd fod rhesymau digonol dros roddi caniatâd y Gymdeithasfa i werthu hen gapel Llandrillo, a chynnygiwyd ac eiliwyd fod caniatâd yn cael ei roddi.

IX. Cafwyd ychydig o ymddyddan am yr Arholiad Cymdeithasfäol yn flaenorol i gyflwyniad Adroddiad yr Arholwyr, yr hwn oedd i'w ddwyn ger bron y Gymdeithasfa y dydd canlynol. Nid oedd yn hollol eglur ar y cyntaf pa un o'r ddau Arholydd presennol oedd i fyned allan y flwyddyn hon. O herwydd anallu y Parch. D. C. Davies, M.A., i wasanaethu y swydd hon am y tair blynedd y bwriedid iddo wneyd, yr oedd y Parch. William James, B A., yr hwn a benodasid yn olynydd iddo, wedi gwasanaethu mewn dau Arholiad yn awr, fel y Parch. John Ogwen Jones. B. A., yr hwn a benodasid ychydig fisoedd o'i flaen. Mynai Mr. James mai priodol oedd iddo ef fyned allan, rhag iddo achlysuro byrhâu tymmor gwasanaeth gwerthfawr Mr. Ogwen Jones yn yr achos hwn. Tybiai Mr. Ogwen Jones, gan ei fod ef wedi ei benodi o flaen Mr. James, mai mwy rhesymol oedd iddo ef fyned allan yn gyntaf. Ar ol derbyn yr eglurhâd hwn, cyttunwyd,—Ein bod yn ystyried y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., wedi gwasanaethu ei swydd yn ffyddlawn ac yn effeithiol, a'n bod yn dymuno arno ymgynghori â Mr. James a'r brodyr eraill gyda golwg ar enwi Arholydd yn ei le am y ddwy flynedd nesaf.

X. Enwyd brodyr i feddwl am byncian athrawiaethol i draethu arnynt yn Nghymdeithasfaoedd y flwyddyn nesaf. Cynnygir ymdrin â'r pwnc o "Swyddau Crist" yn y drefn ganlynol:—

*Cymdeithasfa Ebrill*—Ei swydd Brophwydol; *Cymdeithasfa Mehefin*—Ei swydd Offeiriadol: ei Aberth; *Cymdeithasfa Medi*—Ei swydd Offeiriadol: ei Eiriolaeth; *Cymdeithasfa Rhagfyr*—Ei Freniniaeth.

XI. Etholwyd y Parch. Dr. O. Thomas yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn 1882.

Cynnaliwyd *Cyfarfod Cenadol am hanner awr wedi chwech*—D. Roberts, Ysw., yn y gadair. Anerchwyd y cyfarfod gan y Parch. T. Jerman Jones, Mr. T. Lewis, ac eraill.

DYDD IAU, RHAGFYR 1AF.

Cynnaliwyd *Cyfarfod y Pregethwyr am 10 o'r gloch ddydd Iau, Rhagfyr 1af.* Ar yr un awr cynnaliwyd *Cyfarfod y Blaenoriaid.*

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

I. Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa nesaf i gael ei chynnal yn HARLECH, Ebrill 26, 27, a'r 28ain. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i gyfarfod am ddau o'r gloch ddydd Mercher y 26ain.

II. Derbyniwyd yn genadwri o Gyfarfod y Blaenoriaid eu bod yn argymhell y Gymdeithasfa i basio penderfyniad i'r perwyl a ganlyn,—Ein bod yn teimlo fel Cymdeithasfa yn ddyledus i Mr. D. Davies, A.S., Llandinam, am ei gynnygiad haelionus i gyfranu y swm o £200 yn flynyddol tuag at y Drysorfa Gynnorthwyol, gan hyderu y bydd hyn yn symbyliad i'r Siroedd ddy-

fod ymlaen mewn haelioni at yr achos hwn.

Cyttunwyd yn unfrydol,—Ein bod yn mabwysiadu y cynnygiad uchod, ac fel Cymdeithasfa yn diolch yn wresog i Mr. Davies, Llandinam, am yr amlygiad ychwanegol hwn o'i ofal am yr Achos Mawr, ac yn dymuno annog y Siroedd i'r ymdrech hwnw gyda'r casgliad at y Drysorfa Gynnorthwyol ag fyddo yn sicrhâu rhodd haelionus Mr. Davies, ac yn hyrwyddo amcan mawr y Drysorfa hon.

III. Cyflwynodd y Parch. John Ogwen Jones, B.A., adroddiad am yr Arholiad Cymdeithasfäol a gynnaliwyd ar yr un amser yn Nghastellnedd yn y Deheudir, ac yn Nghaerlleon yn y Gogledd. Sicrhäwyd y Gymdeithasfa fod yr holl reolau a osodwyd i'w cadw yn yr achos wedi cael y sylw dyladwy. Hysbyswyd fod deuddeg wedi myned trwy yr Arholiad yn llwyddiannus, ac fel yr oeddynt wedi sefyll yn ol eu teilyngdod.

Cynnygir y Parch. L. Edwards, D.D., yn Arholydd yn lle y Parch. John Ogwen Jones, B.A.

Hysbyswyd fod yr Arholiad y flwyddyn nesaf yn y Gogledd i gael ei gynnal yn Nghroesoswallt, ac mai y pynciau canlynol fydd materion yr Arholiad :—

1. Yr Epistol at yr Ephesiaid : Arholydd, —y Parch. William James, B.A. 2. Cyfiawnhâd trwy ffydd : Arholydd,—y Parch. Ezeciel Thomas. 3. Gwybodaeth Gyffredinol o'r Ysgrythyrau : Arholydd,—y Parch. D. Evans, B.A. 4. Hanes yr Eglwys yn y Canol Oesoedd : Arholydd,—Dr. Edwards.

Penderfynwyd, Fod diolchgarwch gwresog y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. John Ogwen Jones, B.A., am ei wasanaeth gwerthfawr fel Arholydd am y ddwy flynedd ddiweddaf.

V. Cadarnhäwyd penodiad Dr. Edwards fel Arholydd am y ddwy flynedd nesaf.

VI. Penderfynwyd, Fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i gyfeillion Caerlleon am y derbyniad croesawgar a roddasant i'r Arholwyr a'r Ymgeiswyr yn yr Arholiad diweddaf.

VII. Penderfynwyd, Fod diolchgarwch diffuant y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i gyfeillion Rhyl, ac yn enwedig i Mr. E. Roberts, Aled House, am y croesaw caredig a roddasant i'r Pwyllgor i ystyried y Rheolau i dderbyn Ymgeiswyr am y Weinidogaeth, ar adeg eu heisteddiad cyntaf.

VIII. Penderfynwyd, Fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu hen gapel Llandrillo.

IX. Cadarnhäwyd penodiad Mr. John Davies, Salford, yn aelod o Bwyllgor y Genadaeth Gartrefol, a'i benodiad yn aelod o Bwyllgor Gweithredoedd y Capelau.

X. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. Lewis Ellis, a Mr. Thomas Roberts, Dinbych, yn aelodau o Bwyllgor y Drysorfa Gynnorthwyol.

XI. Cadarnhäwyd etholiad Dr. Owen Thomas yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn 1882.

XII. Penderfynwyd, mewn atebiad i'r cwestiwn o Leyn ac Eifionydd yn mherthynas i hawl eglwys i ddiarddel swyddog, ein bod yn barnu mai doeth ymhob amgylchiad ag y byddo achos swyddog yn cael ei gyflwyno i eglwys gyda golwg ar ei ddiswyddo neu ei ddiarddel, fyddai bod cenadon o'r Cyfarfod Misol yn bresennol ar y pryd ; ond os dygwydd amgylchiad ag y byddo anrhydedd crefydd yn galw am sylw ebrwydd, y gall yr eglwys attal y cyfryw swyddog yn y cyfamser i weinyddu ei swydd.

XIII. Cyttunwyd yn unfrydol ar y penderfyniad canlynol,—Fod aelodau y Gymdeithasfa hon wedi clywed gyda gofid dwys am ymadawiad ein cyfaill a'n cydwladwr rhagorol, Syr Hugh Owen, ac yn dymuno dadgan eu gwerthfawrogiad uchel o'r medr mawr a'r ymdrech diflino â pha rai, a thros dymmor mor faith, yr ymroddodd efe mor garedig i geisio dyrchafu ei gydwladwyr, ac yn arbenig yn y mater pwysig o addysg ; ond tra yn gofidio ei golli, ni allant lai na theimlo yn ddiolchgar fod ei lafur yn cynnyrchu y fath gynauaf cyfoethog o ddaioni i'r wlad ; a theimlant yn sicr y cedwir ei enw, fel cymwynaswr anrhydeddus, mewn serchog goffadwriaeth gan bobl Cymru dros lawer o flynyddoedd ; hyderant hefyd y bydd llawer yn cael eu tueddu i'w ddilyn yn ei fywyd pur a'i lafur gwladgarol.

XIV. Cyttunwyd ar y penderfyniad canlynol o berthynas i Adroddiad y Dirprwywyr ar Addysg Ganolraddol ac Uwchraddol yn Nghymru,—Fod y Gymdeithasfa hon, sydd yn cynnrychioli yn Ngogledd Cymru a'r trefi Seisonig cyfagos ryw 170,000 o aelodau a gwrandäwyr, ac yn gwybod yn dda am anghenion addysgawl y Dywysogaeth, yn dadgan ei chymeradwyaeth o ddoethineb a thegwch yr Adroddiad a gyhoeddwyd yn ddiweddar gan y Pwyllgor a benodwyd gan y Llywodraeth i chwilio i ansawdd Addysg Ganolraddol ac Uwchraddol yn Nghymru,—er heb ddeall yn hollol paham y sonient am gau gweinidogion allan o lywyddiaeth yr ysgolion a'r colegau : fod y Gymdeithasfa hefyd yn barchus yn dymuno annog Llywodraeth ei Mawrhydi yn y Senedd-dymmor nesaf i geisio pasio deddf, yn ol argymhelliadau y Pwyllgor, er gosod y manteision addysgol pwysig a olygir yn yr Adroddiad, a heb golli ond mor lleied o amser ag a fyddo yn bosibl, o fewn cyr-

haedd pobl sydd er ys cyhyd o amser, a chyda'r fath awyddfryd, wedi bod yn hiraethu am eu mwynhâu.

XV. Penderfynwyd, Fod yn dda genym ddeall fod yn mryd ein hanwyl frawd Mr. Thomas Lewis ymweled â'n Gorsafoedd Cenadol yn India y Dwyrain; ein bod yn hyderu yn fawr y caiff fordaith lwyddiannus, ac y bydd amddiffyn y Nefoedd drosto hyd ei ddychweliad adref, ac y cawn ganddo, wedi iddo ddyfod yn ol, hanes am ei daith ac adroddiad am ansawdd yr achos ar Fryniau Cassia a fydd yn gyfarwyddyd ac yn gyfnerthiad i ni fel Cyfundeb yn ein cysylltiad â'r achos Cenadol.

XVI. Pasiwyd y penderfyniad canlynol ynglŷn â symudiad y Parch. George Lamb,—Ar ol deall fod ein brawd y Parch. George Lamb yn bwriadu ymadael o'r wlad hon, ac ymsefydlu yn Nhaleithiau Unedig America, ein bod fel Cymdeithasfa yn ei gyflwyno i'n brodyr yn y wlad hono fel brawd anwyl a phregethwr cymeradwy, yn dymuno iddo bob cysur a llwydd fel pregethwr a gweinidog ymha eglwys bynag y galwer ef i ymsefydlu, ac yn cymeryd y cyfleusdra presennol i anfon ein hanerch caredig gydag ef at ein hanwyl frodyr yn yr Unol Daleithiau.

XVII. Cyflwynwyd i'r Gymdeithasfa Adroddiad o weithrediadau Cyfeisteddfod Unedig yr Achosion Seisonig a'r Genadaeth Gartrefol, gan Mr. R. Williams, Drefnewydd. (Ymddengys yr Adroddiad yn Nhrysorfa Chwefror.)

Penderfynwyd fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu gan y Gymdeithasfa.—Ynglŷn â hyn, penderfynwyd fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i Mr. Edward Griffith, U.H., Dolgellau, am ei ymdrechion egnïol gyda'r drysorfa neillduol y llwyddwyd i'w chael i gynnorthwyo y Genadaeth Gartrefol.

XVIII. Hysbyswyd fod y Cyfeisteddfod Dirwestol wedi cyfarfod ac wedi cynnal un eisteddiad, a'u bod ar ol cynnal eisteddiad arall yn bwriadu cyflwyno adroddiad i'r Gymdeithasfa. Deallid hefyd fod y Cyfeisteddfod i ystyried y Rheolau i dderbyn ymgeiswyr am y Weinidogaeth wedi cynnal eisteddiad, ac y cyflwynid eu hadroddiad yn un o'r Cymdeithasfaoedd dyfodol.

XIX. Argymhellwyd Cyhoeddiadau y Cyfundeb yn wresog i sylw yr holl eglwysi, sef y Drysorfa, *Trysorfa y Plant*, a'r *Treasury*, a'r Cyhoeddiad Cenadol newydd, *Newyddion Da*. Hefyd rhoddwyd canmoliaeth uchel i *Fuchdraeth y diweddar Barchedig John Mills*, yr hwn sydd wedi ei gyhoeddi yn ddiweddar.

XX. Rhoddwyd adroddiad manwl a chryno am yr Achos Crefyddol yn Sir Fflint, gan Mr. O. Williams, Bodffari, a'r Parch. R. Edwards, a dadganwyd llawenydd y Gymdeithasfa o glywed adroddiad mor galonogol.

XXI. Coffäwyd am yr Wythnos Weddïau sydd i gael ei chadw ddechreu y flwyddyn nesaf. Annogwyd yr holl eglwysi i gynnal cyfarfodydd gweddïau yn nechreu Ionawr, ac annogwyd yr holl Gyfarfodydd Misol i alw sylw yr eglwysi ymhellach at hyn.

Dydd Gwener, Rhagfyr 2il.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am hanner awr wedi* 8 *y bore.*

XXII. Coffäwyd yn barchus a hiraethlawn am dri o frodyr yn y weinidogaeth oedd wedi eu cymeryd ymaith oddiwrthym er y Gymdeithasfa ddiweddaf,—sef y Parchedigion Benjamin Jones, Bagillt; Robert Ellis, Ysgoldŷ; a Griffith Williams, Talsarnau; a rhoddwyd ar yr Ysgrifenydd anfon llythyrau i ddadgan cydymdeimlad â'u gweddwon hwynt.

XXIII. Ymdriniwyd, am y gweddill o'r amser, â'r mater canlynol,—Myfyrdod a gweddi, neu y lle sydd i fyfyrdod mewn defosiwn.

William Williams, *Ysgrifenydd.*

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Yn nghapel *Rehoboth*, nos Fawrth, Tachwedd 29ain, pregethodd y Parchn. D. Jones, Gareg ddu, Ffestiniog, a J. Pritchard, Amlwch. Nos Fercher, y 30ain, Cyfarfod Cenadol, dan lywyddiaeth D. Roberts, Ysw., Liverpool ac Abergele; a'r Parch. T. Jerman Jones, Cassia; Mr. T. Lewis, Fron, Llangefni, ac eraill, yn llefaru. Nos Iau, Rhagfyr 1af, pregethodd y Parchn. J. Ogwen Jones, B.A., a J. Hughes, D.D. Dydd Gwener, am 10, y Parchn. N. Cynhafal Jones, Llanidloes, a J. Pritchard, Amlwch. Am 2, y Parchn. W. Griffiths, Penmachno, a R. Lumley, Liverpool. Ac am 6, y Parchn. R. Thomas, Llanllyfni, ac O. Thomas, D.D.

Yn ysgoldŷ *Penllyn*, nos Iau, y Parch. E. Roberts, Caernarfon; a nos Wener, y Parch. P. W. Jones, Penygroes.

Yn nghapel *Eirianallt*, nos Fawrth, y Parchn. J. Eiddon Jones, Llanrug, ac E. Griffiths, Meifod; a nos Iau, yn Saesoneg, y Parch. T. T. Morgan, Beaumaris.

Yn nghapel Cymraeg y *Bedyddwyr*, nos Iau, y Parch. Dr. Thomas, yn Saesoneg; a dydd Gwener, am 2, y Parchn. D. Williams, Liverpool, a J. Richard Hughes, Caergybi; ac am 6, y Parchn. E. Jones, Pentrecelyn, a Dr. Hughes.

Yn nghapel *Sion*, dydd Gwener, am 10, y Parchn. W. Roberts, Llanrwst, ac E. Roberts, Caernarfon; am 2, y Parch. Daniel

Rowlands, M.A., yn Saesoneg; ac am 6, yn Saesoneg, y Parch. W. James, B.A., Manchester.

---

SYMUDIADAU GWEINIDOGAETHOL.

AR ol gwasanaethu yr achos Seisonig yn nhref Caerfyrddin am yn agos i ugain mlynedd, y mae'r Parch. Joseph Evans yn symud ddechre y mis hwn i gymeryd gofal bugeiliol yr eglwys yn Park Place, Tredegar. Mae yn y lle hwn gynnulleidfa liosog, a maes teilwng o weithiwr difefl. Gwir fod yno ddyled drom ar y capel, yn agos i £2000; ond diammheu genym y bydd i'r gweinidog newydd wneuthur y defnydd goreu o'r gwres sydd yn ei ysbryd i doddi ymaith y baich trwmlwythog hwn yn fuan ac yn llwyddiannus. Bydd symudiad Mr. Evans i Fynwy yn gaffaeliad gwerthfawr i eglwysi Seisonig eraill y Sîr hono. Yr oedd efe yn hytrach ar ei ben ei hun yn Nghaerfyrddin, yr hon dref sydd yn mynu parhâu yn hynod Gymreigaidd. Hefyd, y mae un o bregethwyr ieuainc Mynwy, sef Mr. Thomas Morgan o Bontnewynydd, eithr yn enedigol o Gwmystwyth yn Ngheredigion, wedi ymsefydlu yn Neyland, Swydd Benfro, fel bugail yr eglwys yno. Ac y mae Mr. John Hughes Parry, mab hynaf y Parch. Griffith Parry, Aberystwyth, wedi ymgymeryd â gofal gweinidogaethol yr eglwys yn Hwlffordd yn yr un Sîr.

---

CENADAETH GARTREFOL Y DEHEUDIR.

MAE'R sefydliad hwn yn parhâu i fyned ar gynnydd o ran maes ei weithrediadau ac yn ngraddau ei bwysigrwydd, ei ddefnyddioldeb, a'i lwyddiant. Y mae, modd bynag, un cwmwl yn crogi uwch ei ben, fel y bu hyd yn ddiweddar dros y chwaer-gymdeithas yn y Gogledd, sef dyled o bedwar cant a hanner o bunnau. Yr oedd cyfanswm y casgliadau am y flwyddyn yn terfynu ddiwedd Gorphenaf yn £881, ond y taliadau allan mewn niferi crwn yn un cant ar ddeg o bunnau. Os gwna'r holl eglwysi gario allan addysg werthfawr y geiriau cyffrous sydd yn terfynu yr Anerchiad gan y goruchwyliwr ffyddlawn a medrus, y Parch. David Evans, Abertawe, nid yn unig fe ddileuir y ddyled yn fuan, ond hefyd bydd y cyfraniadau o flwyddyn i flwyddyn yn dyfod i fyny â'r gofynion. Fel hyn y terfyna Mr. Evans ei anerchiad: "Bedyddier ni fel Cyfundeb â'r ysbryd cenadol. Dihatrer ni o bob ysbryd cul a hunangeisiol. Ymddiriedwn y naill yn y llall. Carwn ein gilydd o galon bur yn helaeth. Nac ymrysonwn ar y ffordd; a chyda zel, cydweithrediad, a nerth o'r uchelder, ni a wnawn eto rymusderau."

---

TREAMLOD.

DYMA hen enw cysegredig yn hanes y Methodistiaid Cymreig. Yma y bu byw y cynghorwr nodedig John Harries, ac ar ei ol ef ei fab y Parch. Evan Harries, un o'r brodyr a ordeiniwyd gyntaf yn y Deheudir. Ond ni bu yma achos perthynol i'r Cyfundeb, oddieithr yn unig fod canghen ysgol yn cael ei chynnal yn y lle yn perthyn i'r hen eglwys barchus yn Woodstock. Bellach y mae yno gapel bychan prydferth wedi ei godi, yr hwn a agorwyd ar y 1af a'r 2il o Ragfyr, pryd y pregethwyd gan y Parchn. W. Powell, John Davies, J. Cynddylan Jones, ac eraill. Ac y mae'r capel wedi ei agor ymron yn ddiddyled. Nid oedd ond rhyw £20 yn sefyll ar ddiwedd yr agoriad. Golygir dileu y rhelyw hwn ar unwaith. O hyn allan, bydd yn y lle hwn, heblaw Ysgol Sul, bregethu cyson, eithr nid ydym yn deall y bwriedir sefydlu canghen eglwys yma ar hyn o bryd.

---

MAEROD.

Y MAE y boneddigion sydd am eleni yn llanw y swydd bwysig ac urddasol o faer yn eu trefi perthynol, sef yn Nghastellnedd ac Abertawe, yn aelodau o'r Corff; y blaenaf yn ddiacon, a'r olaf yn bregethwr ordeiniedig. Darfu i Mr. Davies, Castellnedd, wahodd aelodau y Cynghor Trefol i'r Capel Methodistaidd y Sabboth ar ol ei etholiad, yr hyn ydoedd yn beth dyeithr yn y dref hono. Ond dywedodd y Cadben a'r Henadur, y Parch. Thomas Davies, wrth y gorfforiaeth yn Abertawe ar y dydd yr etholwyd ef yn faer, mai y peth goreu ydoedd i bob un o honynt ar y Sabboth canlynol fyned i'w le addoli ei hun. Gallwn yn y cysylltiad hwn nodi fod Mr. David Evans, Bodringallt, wedi ei ailddewis yn gadeirydd Bwrdd Ysgol Cwm Rhondda, ac mai y Parch. David Edwards, Llywydd y Gymanfa Gyffredinol, ydyw Cadeirydd Bwrdd Ysgol Casnewydd-ar-wysg; ac hefyd y mae y Parch. John Lewis yn parhâu i ddal yr un swydd anrhydeddus yn Nghaerfyrddin.

---

COLEG ATHRAWOL ABERTAWE.

TRADDODWYD yr Anerchiad blynyddol i'r efrydesau yn y sefydliad hwn eleni gan y Parch. William Williams, yr hwn a roddodd gyfarchiad pwysig ac ymarferol, yn dwyn holl nodweddion ei deithi rhagorol ef; a derbyniodd y gymeradwyaeth a'r diolchgarwch mwyaf gwresog. Y llywydd ar yr achlysur ydoedd Mr. Dillwyn, yr Aelod Seneddol dros Abertawe. Dwy neu dair blynedd yn ol, bu y Parch. William Howells, Trefecca, yn cyflawni yr un gwasanaeth. Da genym allu ychwanegu fod amryw o ferched ieuainc perthynol i'r Cyfundeb wedi myned trwy y sefydliad hwn yn llwyddiannus, a'u bod yn awr yn llanw lleoedd anrhydeddus ymysg y rhai sydd yn gweinyddu addysg yn ein hysgolion dyddiol. Ac y mae y Coleg hwn, fel y chwaer-sefydliad yn Mangor, yn haeddu cefnogaeth haelionus cyfoethogion y Cyfundeb.

---

GRADDAU YSGOLEIGIOL.

Y MAE y Parch. D. Charles Edwards, B.A., Bala, trydydd mab y Parch. Dr. Edwards, wedi ennill y gradd o M.A., yn Mhrifysgol

Rhydychain; ac y mae y pregethwr ieuanc, Mr. Richard Morgan Jones, Bryncrug, Gorllewin Meirionydd, wedi bod yn llwyddiannus yn yr arholiad am y gradd o B.A., yn Mhrifysgol Caergrawnt.

CYDYMDEIMLAD MEWN GWEITHRED.

Yn Nghyfarfod Misol Môn, mis Tachwedd, yr hwn a gynnaliwyd yn nghapel Hyfrydle, Caergybi, penderfynwyd i'r swm o £20 gael ei roddi i'r Parch. Richard Jones (*Glan Alaw*), fel arwydd o gydymdeimlad y frawdoliaeth yn y Cyfarfod Misol âg ef yn ei brofedigaethau teuluaidd, trwy gystudd trwm a maith ei briod, a'i wendid corfforol ef ei hun, a chan ystyried costau ei symudiad o Millom (lle y bu efe yn genadwr perthynol i'r Genadaeth Gartrefol) i Gaergybi.

## Trem ar yr Amserau ac Amgylchiadau.

Parhau yn derfysglyd ac aflywodraethus y mae corff mawr y Gwyddelod, drwy ddylanwad arweinwyr y *Land League*, er fod y rhan fwyaf o'r rhai hyny wedi eu carcharu yn gyfiawn gan yr awdurdodau. Er hyny y mae cyfraith newydd y *Land Act*, ar y cyfan, yn dechre gweithio yn dda, a lliaws mawr o amaethwyr yn gwneuthur defnydd o honi. Ond nis gellir dysgwyl i ryw bedwar mis o weithrediad cyfraith newydd ddwyn tawelwch cyfredinol i wlad sydd mewn cyflwr o aflonyddwch er ys blynyddoedd. Y mae ymosodiadau bradwrus y gwrthryfelwyr ar y tirddeiliaid a fynent wneuthur yr hyn sydd uniawn, a'r lladdiadau dychrynllyd a gyflawnir yn ddirgel, yn wir arswydus; ac ofni yr ydym y bydd raid i'r Llywodraeth gymeryd mesurau pellach a chryfach tuag at adferu heddwch ac iawn drefn.

Ar y 10fed o'r mis diweddaf, aeth Mr. Powell, yr aelod seneddol dros Malmesbury, gyda'r Capten Templer a Mr. A. Gardner, i fyny o Bridport mewn awyren, er cymeryd mesuriad o ardymheredd yr awyr dros y Llywodraeth. Wedi bod i fyny yn yr uchelder o chwe' mil o droedfeddi, ymhell uwchlaw cymylau yr eira, daethant mor isel fel y tarawodd yr awyren y llawr, ac y syrthiodd Templer a Gardner allan; a'r awyren a gododd yn ddisymwth gyda Mr. Powell i mewn, gan fyned yn nghyfeiriad y môr; a dyna yr hanes ddiweddaf a glybuwyd am dano. Bernir yn gyffredin fod yr awyren wedi syrthio i'r môr, a suddo, ac i Mr. Powell foddi yn anocheladwy.

Y mae lladradau hynod wedi bod yn ddiweddar ar emau gwerthfawr. Yn llythyrdy Hatton-garden, Llundain, lladratäwyd yn ddyeithr a beiddgar gydaid o èmau, gwerth £14,300. Ac wedi hyny yn Brynkinallt, gerllaw'r Waun (*Chirk*), Sir Ddinbych, palas Arglwydd Hill Trevor, pan ddaeth ei arglwyddiaeth a'i briod adref o'r eglwys ganol dydd Sabbath, cawsant fod nifer mawr o èmau gwerthfawr, gwerth oddeutu hanner can' mil o bunnoedd, meddir, wedi eu lladrata o ystafell yr arglwyddes. Nis gellid ond barnu mai rhywrai cyfarwydd iawn â'r lle oedd wedi dwyn y tlysau ymaith yn y dydd felly; a chymerwyd gwas a morwyn i fyny oddiar ddrwgdybybiaeth. Ond gan na ddeuwyd o hyd i'r anrhaith, ac nas gellid cael un dystiolaeth bendant am y lladron, nid oedd gan yr heddynadon, yn Llangollen, ar ol dyddiau o ymchwiliad, ddim i'w wneyd ond gollwng y ddau yn rhydd.

Un o'r dygwyddiadau mwyaf pruddaidd ac echrydus yn yr oes hon ydoedd y tân a dorodd allan un noson yn nechre'r mis diweddaf mewn chwareudŷ mawr yn Vienna, prifddinas Awstria, trwy yr hyn y llosgwyd 5?0 o bersonau i farwolaeth. Yr oedd y drysau yn ychydig a chulion, a'r bobl yn eu dychryn yn gwasgu a sathru eu gilydd, nes cau i fyny y mynedfeydd, a chael eu hunain yn nghanol y tân.

Y mae prawf Guiteau, llofrudd yr Arlywydd Garfield yn yr America, yn myned ymlaen yn annyben. Gwnaed ymgais mawr i geisio profi gwallgofrwydd y lleiddiad; ond credir yn lled gyffredinol bellach mai ffugio bod yn wallgof y mae Guiteau yn ei siarad a'i ymddygiad, a bod y tystiolaethau yn profi ei fod yn ei synwyr, yn rhy lïosog ac amlwg i'w gwadu.

Dywedir mai yn y flwyddyn 1830—rhyw un mlynedd ar ddeg a deugain yn ol—y darfu i'r cosyn cyntaf o'r America groesi Môr y Werydd. Ond y mae'r fath helaethder yn dyfod oddiyno yn awr, fel o Hydref 1, 1880, i Hydref 1, 1881, fod yr holl gaws a anfonwyd drosodd o New York yn llanw 127,311 o gistiau.

Am y colledion blynyddol trwy longddrylliad ar lestri perthynol i'r Deyrnas Gyfunol, cyfrifir fod un llestr o bob 42 yn colli, a bod un morwr o bob 203 yn boddi. Y mae yr ystormydd mawrion diweddar, pa fodd bynag, wedi peri i gannoedd o fywydau gael eu colli, yn forwyr a theithwyr.

## Amrywiaethau.

BRENIN ITALY A'R GWEINIDOGION PROTESTANAIDD.

Yn ystod ymweliad diweddar y brenin Humbert o Italy â dinas Naples, cafodd y naw gweinidog Protestanaidd oedd yn y ddinas yr anrhydedd o'u cyflwyno iddo, ac yr oedd y brenin ieuanc yn rhoddi derbyniad grasusol iddynt. Yr oedd efe yn synu, pa fodd bynag, pan yr oedd un o honynt yn cael ei gyflwyno iddo fel Methodist, un arall fel Bedyddiwr, y trydydd fel Presbyteriad, y pedwerydd fel Waldensiad, ac felly ymlaen. "Yr wyf fi yn methu deall," ebe'r brenin wrthynt, "pa sut y gellwch fod oll yn weinidogion yr un efengyl gyda chymaint o wahaniaethau rhyngoch. Fe allai y bydd un o

honoch mor dda ag egluro hyn i mi." Y gweinidog Waldensiaidd a atebodd yn ebrwydd, "Y mae yn myddin eich Mawrhydi gatrodau *(regiments)* yn gwisgo dillad milwraidd o wahanol liwiau, ac yn cael eu galw wrth wahanol enwau; er hyny y maent oll o dan yr un cadlywydd ac yn dilyn yr un faner. Yn gyffelyb yr ydym ninnau Brotestaniaid wedi ein rhanu i wahanol enwadau; eithr nid oes genym ond yr un Penllywydd—Iesu Grist; ac yr ydym yn canlyn yr un faner, sef baner efengyl ein Harglwydd a groeshoeliwyd ac a adgyfododd." Yr oedd y brenin yn gwrando yn astud; ac yna efe a ddywedodd, "Yr wyf yn diolch i chwi am eich eglurhâd rhagorol. Yr wyf fel hyn i ddeall, tra yr ydych yn gwahaniaethu oddiwrth eich gilydd mewn pethau llai, eich bod yn un yn yr holl bethau hanfodol a phwysig."

### HEB FOD YN GOMFFORDDUS ETO.

AMAETHWR cyfoethog a pharchus yn Connecticut, America, a adroddai yr hyn a ganlyn fel ei brofiad ef am ddedwyddwch bydol: "Pan y daethum yma i ymsefydlu gyntaf, oddeutu deugain mlynedd yn ol, yr oeddwn yn dyweyd wrth fy ngwraig fod arnaf eisieu bod yn gyfoethog. Ond dywedai hi nad oedd ynddi awydd am gyfoeth—nad oedd arni eisieu dim ond digon i'w gwneyd yn gomfforddus. Aethum i weithio o ddifrif, a diwylliais fy nhir yn y modd goreu; ac yr wyf wedi dal i weithio yn galed byth; ac erbyn hyn yr wyf wedi myned yn gyfoethog—mor gyfoethog âg y dymunwn fod. Mae y rhan fwyaf o fy mhlant wedi ymsefydlu o'm hamgylch, a chanddynt ffermydd bob un. Ond am fy hen wraig, mae yn rhaid i mi ddyweyd, nid yw hi yn ei chael ei hun yn gomfforddus eto."

### Y GWIR NOETH.

CHWEDL a ddywed fod Gwir a Chelwydd, pan yn teithio ar un diwrnod gwresog, wedi cyfarfod gerllaw afon, ac i'r naill a'r llall fyned i'r afon i ymdrochi. Celwydd, wedi dyfod yn gyntaf allan o'r dwfr, a ymwisgodd yn nillad y Gwir, gan adael ei ddillad seilwon a budron ei hunan ar ol, a myned i ffordd. Y Gwir, wedi dyfod allan, a chwiliodd yn ofer am ei ddillad ei hun, ac ni fynai wisgo hen ddillad celwydd; ac felly nid oedd ganddo ond myned ymaith yn noeth; eithr efe a fethodd ddal y ffôadur anonest, ac y mae byth wed hyny yn cael ei adwaen fel "y Gwir noeth."

### DAWN FFRAETHINEB.

YR oedd y ddau glerigwr urddasol, Dr. Sherlock a Dr. South, yn dygwydd bod mewn dadl ar ryw bwnc crefyddol; ac achwynai Sherlock ar South, am wneuthur cymaint o ddefnydd o'i ffraethineb yn y ddadl oedd rhyngddynt; ac yr oedd South, fel y mae yn hysbys, yn dra enwog am ffraethder ei ddawn. A'i ateb ef i Sherlock ydoedd, "Wel, tybier fod yr Hollalluog wedi rhoddi dawn ffraethineb i chwi, yr hyn, ni a wyddom, nas gwnaeth,—pa beth a wnaethech chwi â'r dawn hwnw wedi ei gael?"

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## LLYDAW.

### YMWELIAD AG YNYS GROIX.

MAE Ynys Groix ryw ddeuddeng milldir o Lorient, ar yr ochr ddeheuol i Lydaw.

Mewn llythyr dyddiedig Hydref y 26ain, rhydd Groignec, y Llyfrgludydd, hanes ymweliad a wnaeth â'r ynys hon. "Dyma," meddai, "y drydedd waith i mi deithio dros yr ynys o dŷ i dŷ gyda gair Duw. Preswylia tua phedair mil o drigolion yn yr ynys. Gwerthais yn y daith hon yn yr ynys, 5 o Fiblau, 40 o gopïau o'r Testament Newydd, a thua 100 o bamphledau.

"Pysgotwyr ydyw trigolion yr ynys hon agos oll. Mae ganddynt longau bychain, yn y rhai y byddant yn myned allan i fanau na feiddient fyned gyda chychod agored. Mae y bobl yn gyffredin mewn amgylchiadau cysurus; edrycha eu pentrefi yn fwy tebyg i drefi bychain destlus, na phentrefi y wlad yn gyffredin. Gan fod y dynion yn treulio tua deng mis o'r flwyddyn ar y môr yn pysgota, y merched sydd yn trin y tir, yn gyru y troliau, ac yn dilyn yr aradr. Gellir eu gweled hyd y wasg yn y dwfr yn tynu y gwymon i dir er cael gwrtaith i'r tir. Maent yn gryfion a gweithgar. Nid ydyw y merched yn yr ynys hon yn rhagfarnllyd a phenboeth yn eu zel dros Babyddiaeth. Maent yn siriol a hawdd ymddyddan â hwynt. Cefais lawer o ymddyddanion maith ynghylch crefydd yn y daith a wnaethum i'r ynys. Yr oeddwn yn cael fod llawer o'r copïau o'r Testament Newydd a werthaswn yn ystod fy ymweliad blaenorol, yn agos i chwe' blynedd yn ol, wedi cael eu llosgi neu eu dinystrio gan yr offeiriaid. Wedi i mi fyned i un tŷ lle yr oeddwn wedi gwerthu copi o'r Testament Newydd chwe' blynedd yn ol, dywedai gwraig y tŷ, 'Nid yw eich llyfrau yn rhai da; mae yr un a werthasoch i mi wedi cael ei losgi gan yr offeiriad.' 'A ddarfu iddo ddangos i chwi rywbeth drwg yn y llyfr cyn ei losgi?' 'Naddo; ond dywedai mai llyfr Protestanaidd oedd, a'i fod yn un niweidiol iawn i ni.' 'Ni ddywedodd yr offeiriad y gwir; mae y llyfr yn un niweidiol iawn i'r offeiriad, ond y mae yn un da iawn i chwi, a dyma i chwi paham,—mae y gwirionedd fod Iesu Grist wedi dyfod i'r byd er ein mwyn ni yn cael ei ddadguddio yn y Testament Newydd; ond gwyddoch fod y gwirionedd yn niweidiol i'r rhai sydd yn twyllo, ond yn dra mánteisiol i'r rhai sydd yn cael eu twyllo. Nid am fod y Cristionogion sydd yn darllen y llyfrau yr wyf fi yn eu gwerthu yn rhedeg i unrhyw berygl y mae yr offeiriaid yn gwahardd eu darllen. Gwyddant yn ddigon da mai Gair Duw wyf yn ei werthu; ond gwyddant hefyd fod y Pab a'r esgobion wedi newid llawer o bethau yn nghrefydd Iesu Grist; ceisiant eich attal i wybod am y

cyfeiliornadau a ddysgasant i chwi, trwy gelu oddiwrthych y rhan fwyaf o'r Ysgrythyrau. Cynghorwn chwi i beidio gadael i'r offeiriad gymeryd eich llyfrau nes dangos i chwi y pethau drwg sydd ynddynt. Os gwnewch hyny, rhoddwch ef mewn cryn benbleth.'

"Mae y merched yn yr ynys hon yn dechreu teimlo yn lled dramgwyddedig wrth yr offeiriaid o herwydd eu cybydd-dra. Y flwyddyn hon mae y pysgota wedi bod yn ddigynnyrch iawn, ac y mae tair rhan o bedair o'r pytatws yn ddrwg; ond er hyny y flwyddyn ddrwg hon, fel pob blwyddyn, aeth yr offeiriaid o dŷ i dŷ i ymofyn pethau iddynt eu hunain. Yr oedd ganddynt ddyn yr hwn a'u dilynent gyda throl, a chludent y gwenith, yr haidd, a'r tatws a roddid iddynt i'r ficer-dŷ. Mae llawer o'r bobl wedi bod yn dyweyd, 'Heb fath yn y byd o hadyd, dyma y boneddigion sydd wedi cael y cnydau goreu o neb yn yr ynys.' Wedi hyn meddyliech y byddai yr offeiriaid yn elusengar i'r gweddwon. Oh, wel. Yn ddiweddar aeth gwraig weddw, yr hon a gollodd ei gŵr ar y môr, at yr offeiriad i ddymuno arno ddyweyd gweddi yr offeren am orphwysdra i enaid ei phriod; ond dywedai y weddw wrth yr offeiriad nas gallai dalu iddo ar unwaith, ei bod mewn tipyn o gyfyngder. 'Pan na byddwch mwyach mewn cyfyngder,' meddai yr offeiriad, 'deuwch ataf fi gyda'r tâl am yr offeren, a'r pryd hwnw yn unig dywedaf y weddi am orphwysdra i enaid eich gŵr trancedig.' Clywais lawer o achwyn gan wragedd o berthynas i hunanolrwydd yr offeiriaid; a dywedai rhai nad ant mwyach atynt i gyffesu."

---

## BRYNIAU KHASIA.

Llythyr oddiwrth y Parch. John Roberts, dyddiedig Nongsawlia, Tachwedd 12fed, 1881.

Ar ol rhoddi mewn llythyr blaenorol hanes ei daith trwy ddwyreinbarth Khasia i Nongsken, dywed Mr. Roberts, "Nid oedd genyf amser, heblaw y buasai hyny yn fwy costus, i ddychwelyd adref o Nongsken cyn myned ymlaen i'r *Presbytery* i Jiwai; felly cyn codiad haul dechreuasom ddisgyn i'r Gwastadedd, a chyn ei bod wedi poethi nemawr, yr oeddym wedi cyrhaedd yr afon Ka Smâr, wrth droed y Bryniau. Yr oedd genym amryw filldiroedd i'w cerdded i gyrhaedd lle o'r enw Lyngkhat, ar làn yr afon Umngot. Yr afon hon sydd yn derfyn, am amryw filldiroedd, rhwng Bryniau Khasia a Bryniau Jaintia. Y mae y llwybr o'r Ka Smâr i Lyngkhat yn un digon annyben ei wala; weithiau yn cerdded, yna byddwn ar gefn U Khnong. Yn fuan, pa fodd bynag, blinais ar y dull hwn o deithio, a dyosgais fy hosanau a'm hesgidiau; yna yr oeddwn yn gallu teithio gystal a hwythau.

Y mae Lyngkhat yn farchnadle mawr iawn. Yma y mae preswylwyr Khyndiar yn dyfod â'u ffrwythydd, &c., i'w gwerthu i'r Bengalis. Y mae yma lawer o Gassiaid yn byw ymhlith Bengalis. Yma llogais gwch am dri *rupee* i'n cymeryd i fyny yr afon Umngot i'r man y mae yr afon yn dyfod allan o'r Bryniau i'r Gwastadedd. Bu y cychwyr yn rhwyfo yn galed am o dair i bedair awr. Yr oedd yr olwg ar y Bryniau o'r Gwastadedd yn brydferth mewn gwirionedd. Yr oeddym yn ddigon agos, heb fod yn rhy agos, i gael golwg glir ar bob peth. Ni welais y fath olygfa o goed *betel nut* yn fy mywyd; ac yr oedd yn amlwg iawn y gellid planu llawer iawn mwy o honynt pe byddai anghen am hyny. A diammheu nad yw yr adeg ddim ymhell pan y rhaid i'r Khasiaid droi mwy o'u sylw at amaethyddiaeth. Y mae y Llywodraeth yn graddol lenwi y wlad â ffyrdd da, fel ag y gallant gario bron bob peth gyda throliau; yna bydd terfyn ar y dull presennol o gario pob peth ar y cefn, a rhaid i'r rhai sydd yn cario yn awr droi at orchwylion eraill.

Y pentref y daethom iddo wrth droed y Bryniau ydyw Dougi—pentref o Jaintiaid yn byw ar bysgota. A dyma eu dull. Wedi dal y pysgod, y rhai sydd tuag wyth modfedd o hyd, ac yn lympiau lled dewion, torir ymaith eu penau; yna hollt'ir hwynt yn bedwar darn, gan adael y gynffon i'w dal wrth eu gilydd. Yna taenir hwynt yn yr haul nes y byddant yn hollol sych. Wedi eu sychu felly, parhânt yn dda am amser maith. Gelwir hwynt *Kha pïa*, neu hollt-bysg. Dyma y pysgod a ddefnyddir gan y Cassiaid yn y canoldir, lle nas gellir prynu pysgod newydd eu dal.

Yr oedd y dringo o Dougi i fyny i Nongtalang yn galed iawn, ond nid mor galed ag mewn rhai manau. Fe gymerodd hyn i ni tua phedair awr o deithio dygn, a da oedd genym oll gyrhaedd y top erbyn rhwng 5 a 6 o'r gloch. Hyd yn hyn yr oedd ewythr U Khnong yn dal ar y blaen, ond erbyn cyrhaedd top Nongtalang yr oeddwn o'i flaen o ddigon. Nid af i geisio darlunio Nongtalang, oblegid y mae hyny wedi cael ei wneyd gan ystwythach pin na'r eiddof fi. Pa fodd bynag, y mae yn bentref mawr a phwysig. Yr oeddym wedi meddwl am gael cyfarfod yno, ond cawsom ei bod yn adeg brysur iawn ar y bobl, ac na ddaethent adref hyd nes oedd yn hwyr, felly gorfu i mi roddi y bwriad i fyny. Daeth yr oll o'r Cristionogion i'n gweled,

a rhoddwyd meddyginiaeth i'r rhai cleifion o honynt. Nid oedd yr athraw yno, gan ei fod wedi gorfod cymeryd ei wraig, yr hon oedd yn glaf, i Jiwai.

Ben boreu drannoeth cychwynwyd am Jiwai, a chyrhaeddodd U Khnong, U Hurong, a minnau, erbyn rhwng dau a thri yn y prydnawn. Cyrhaeddodd y lleill tua'r nos. Bernir fod y pellder tua 26 o filldiroedd. Cefais Mr. Jones a'r plant bach yn mwynhâu iechyd da, ond Mrs. Jones yn cwyno.

Yr oedd arnaf awydd er ys tro am gael gweled Shangpoong; felly boreu drannoeth, gan adael fy nghymdeithion oddigerth tri yn Jiwai, cychwynais am Shangpoong, a chyrhaeddais yn gynnar. Cefais y teulu yno yn iach a siriol. Yr oedd y plentyn bach wedi bod yn beryglus glaf, ond ymddangosai yn gwella yn dda iawn. Wedi gorphwys ychydig, aethum gyda Mr. Evans i roddi tro trwy y pentref. Ar y cyfan, yr wyf yn meddwl fod y ffyrdd yn y pentref yn llwyr guro ffyrdd un pentref a welais erioed mewn budreddi. Ond y mae yma faes eang i weithio, gan fod yma lawer iawn o bobl; ac yr wyf yn deall ei fod yn lle canolog hefyd. Boreu ddydd Gwener aethom oll i Jiwai. Yr oedd Mr. a Mrs. Stephens wedi cyrhaedd yno o'n blaenau, ac fe gyrhaeddodd Mr. Hughes wedi iddi dywyllu. Ni ddaeth Dr. Griffiths hyd boreu drannoeth.

Rhydd Mr. Hughes, yn ddiau, i chwi hanes manwl am yr hyn a wnaed, ac a fu dan sylw yno. Cawsom gyfarfodydd cysurus iawn, a chynnulleidfäoedd mawrion i wrando ar y Sabboth. Ymhlith pethau eraill a fu dan sylw yno, crybwyllwyd am ordeinio rhai o'r efengylwyr Dyma y tro cyntaf y bu hyny dan sylw yn gyhoeddus mewn *Presbytery*. Ni siaradwyd llawer arno, ond rhoddwyd y peth o'u blaenau er mwyn iddynt gael ymgydnabyddu âg ef yn eu meddyliau, a chael ei drin a'i drafod yn eu plith eu hunain. Yr wyf fi yn credu fod yma fwy o addfedrwydd i'r peth nag a fu erioed o'r blaen. Ond rhaid i mi ddyweyd y gwir yn onest, y mae arnaf fi gryn lawer o'i ofn. Ynddo ei hun, y mae y peth yn hollol iawn; ond ychydig all neb, sydd heb adnabod y bobl, ddirnad y pryder meddwl yr ydym ynddo yn aml gyda y rhai goreu o'r efengylwyr yma. Hawdd iawn ydyw dyweyd o bell, "Ordeiniwch y pregethwyr brodorol." Peth pur wahanol ydyw ymddiried eglwys Dduw i'w gofal. Ac eto, diau y bydd rhoddi mwy o ofal arnynt yn help mawr at eu dwyn i ymdeimlo mwy â'u cyfrifoldeb. Gwaith Duw ydyw y gwaith, ac y mae genym bob lle i ddysgwyl arweiniad a bendith Duw yn hyn o beth. Gyda golwg arnaf fy hun, gallaf ddyweyd fy mod yn gwneyd pobpeth o fewn fy ngallu i gyfranu gwybodaeth o Air Duw i'r rhai sydd dan fy ngofal, yn ogystal ag i'w dwyn i deimlo eu cyfrifoldeb i ymroddi i'r gwaith mawr.

Yr wyf yn dal i fyned ymlaen gyda'r dosbarth duwinyddol bob dydd, ac yr wyf yn awr yn dechreu dosbarth arall gyda'r un dynion mewn beirniadaeth ysgrythyrol. Bydd y dosbarth hwn yn cael ei gynnal ddwywaith yn yr wythnos, sef dydd Mawrth a dydd Sadwrn; a bydd y dynion ieuainc i sefyll arholiad ynddo fel mewn duwinyddiaeth. Byddwn yn dechreu gyda'r Epistol at y Galatiaid."

---

## BRYNIAU JAINTIA.

### HANES CYFARFOD YR HENADURIAETH.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS, DYDDIEDIG SHANGPOONG, TACH. 9FED, 1881.

MAE y *Presbytery* wedi myned heibio er ys wythnos; ond gobeithio fod llawer o bethau wedi cael eu gwneyd ynddo a bery yn hir yn eu dylanwadau daionus ar y wlad. Yr oedd y cyfarfodydd yn bur dda drwyddynt. Yr oedd y pregethu yn dda ac effeithiol, a phawb yn ymddangos yn gwrando yn astud. Dywedai Mr. Stephens fod ymddangosiad a threfnusrwydd y gynnulleidfa yn debyg iawn i'r eiddo cynnulleidfa led lïosog gartref; ac yr wyf finnau yn meddwl fod gwellhâd amlwg yn astudrwydd y gwrandawiad er pan welais y cynnulleidfaoedd cyntaf yn Khasia. O herwydd llïosogrwydd y pethau oedd genym i fyned drwyddynt, bu raid i ni droi y cyfarfod arferol i bregethu nos Sadwrn i ymdrin â materion eraill.

Ar ol cyfeirio at gyfarfod y brodorion ar eu penau eu hunain, dywed Mr. Evans:—

Cynnaliwyd tri o gyfarfodydd eraill, yn y rhai yr oedd y cenadon a'r brodorion yn cymeryd rhan. Ymdriniwyd mewn un ar "Undeb â Christ," seiliedig ar Ephesiaid v. 30: "Oblegid aelodau ydym o'i gorff ef." Mewn cyfarfod arall siaradwyd ar ddyweyd y *gwir*, seiliedig ar Ephesiaid iv. 25: "O herwydd paham, gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog; oblegid aelodau ydym i'n gilydd." Mewn cyfarfod arall ymdriniwyd â'r mater, "Pa fodd i gadarnhâu yr eglwysi?" a gwrandäwyd hanes yr eglwysi. Fe allai nad wyf wedi gosod y cyfarfodydd hyn yn ol eu trefn; ond yr wyf yn meddwl fy mod wedi enwi y rhan fwyaf o'r pethau yr ymdriniwyd â hwy. Gwnaed sylw byr ar bwnc y "priodi." Mae y Llywodraeth

Indiaidd wedi gwneyd cyfnewidiad ynddi, neu yn hytrach roddi hawl i benaethiaid brodorol i ryddhâu gŵr a gwraig mewn rhai amgylchiadau. Ond gan nad oeddym wedi cael y ddeddf ysgrifenedig, penderfynwyd ei adael heb wneyd sylw pellach arno hyd yr Henaduriaeth nesaf, a gynnelir tua chanol Chwefror yn Shella. Yr oedd hanes yr achos yn dangos, oddigerth mewn dau neu dri o leoedd, fod cryn gynnydd yn yr eglwysi er yr Henaduriaeth ddiweddaf a gynnaliwyd yn Jiwai. Dyfod at grefydd mewn gwaed oer y mae y rhan fwyaf—penderfynu dyfod; ond byddai yn dda genym weled mwy o argyhoeddiad a theimlad. Fe ddaw hyny ond i ni fod yn daer ger bron Duw. Prysurer y dyddiau hyny i ben pan fyddo yr Arglwydd yn tywallt ei Ysbryd ar bob cnawd! Pe b'ai hyny yn cymeryd lle, caffai llawer un, sydd yn Gristion mewn enw, ei fywyd yn Iesu Grist, a gweled ei fod wedi dringo i'r eglwys drwy ryw ffordd arall.

Boreu Sabboth pregethodd U Timothy, Shella, oddiar Zech. ix. 12: "Trowch i'r amddiffynfa, &c.;" a'r Parch. G. Hughes oddiar Rhuf. vi. 23: "Canys cyflog pechod yw marwolaeth, &c." Am 1 o'r gloch, pregethodd U Juramon oddiar Luc xxi. 36: "Gwyliwch, gan hyny, a gweddïwch bob amser, &c.;" a'r Parch. John Roberts oddiar Zech. viii. 23: "Awn gyda chwi, canys clywsom fod Duw gyda chwi, &c." Ac am 4 o'r gloch pregethodd U Ksan Bin, oddiar Heb. ii. 1: "Am hyny y mae yn rhaid i ni ddal yn well ar y pethau a glywsom, &c.;" a'r Parch. Dr. Griffiths oddiar Amos iv. 12: "O herwydd hyny, yn y modd yma y gwnaf i ti, Israel, &c."

Buasai y cynnulleidfaoedd, yn ddiammheu, yn llawer lliosocach oni b'ai fod y bobl yn brysur ar ganol eu cynauaf; er hyny yr oedd y capel mawr yn orlawn ar hyd y dydd. Yr oedd y wlad oll yn cael ei chynnrycholi—hyny yw, pob dosbarth o'r bobl, o'r brenin hyd y cardotyn. Nid wyf yn meddwl y bu erioed o'r blaen gynifer o "fawrion y tir" yn bresennol yn nghyfarfodydd ein Henaduriaeth. Yr oedd brenin Khadsawphra (yr hwn sydd yn awr yn Gristion) yn yr holl gyfarfodydd; ac mewn un neu ddau o'r cyfarfodydd ar y Sabboth yr oedd pedwar o benaethiaid (*Dolloi*) Jaintia yn bresennol, sef *Dolloi* (blaenorol) Jiwai, *Dolloi* Nyrtiang, *Dolloi* Nongjingi, a *Dolloi* Nongpyllwt. Ni bu y ddau ddiweddaf, mae'n debyg, erioed mewn cyfarfod Cristionogol o'r blaen. Bydded i'r Arglwydd anfon ei eiriau adref i'w calonau.

MATERION CYFARFOD Y BRODORION.

Tachwedd 10fed, ysgrifenai y Parch. R. Evans,—Yr oeddym neithiwyr, yn y cyfarfod eglwysig, yn gwneyd sylwadau ar y papyr a barotöwyd i'r holl eglwysi gan y brodorion yn eu cyfarfod eu hunain; a chan ei fod mor dda, ac yn dangos gwybodaeth ysgrythyrol a threfnusrwydd meddwl y brodorion, fe allai y gwelwch ef yn deilwng o'i roddi yn y CRONICL CENADOL. Ysgrifenaf ef fel y mae, gan ychwanegu yn unig yr adnodau yn llawn y mae cyfeiriadau atynt yn y papyr.

"Mater,—Pa fodd i wneyd daioni i bawb, ond yn enwedig i'n cyd-Gristionogion, seiliedig ar Gal. vi. 10: 'Am hyny, tra yr ydym yn cael amser cyfaddas, gwnawn dda i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd.'

"I. GWNAWN DDA I BAWB (y byd).

"1. *Drwy fyned i ddangos (i ddysgu) Gair Duw iddynt yn ol ein gallu*, seiliedig ar 2 Tim. iv. 2: 'Pregetha y gair: bydd daer mewn amser, allan o amser; argyhoedda, cerydda, annog gyda phob hirymaros ac athrawiaeth."

"2. *Drwy gymdeithasu â'r bobl, edrych am y rhai cystuddiol, a helpu y tlawd*, seiliedig ar Matt. v. 16: 'Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd;' a 1 Tim. vi. 18: 'Ar iddynt wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu.'

"3. *Drwy weddïo dros bawb*, seiliedig ar Matt. v. 44: 'Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, Carwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r sawl a'ch casâant, a gweddïwch dros y rhai a wnel niwed i chwi ac a'ch erlidiant.'

"II. GWNAWN DDA I'R RHAI SYDD O DEULU Y FFYDD.

"1. *Drwy gadw dosbarthiadau Biblau ar wahan i'r rhai a gynnelir ar y Sabboth;* fod i'r eglwysi feddwl pa fodd i gyfranu addysg i ddiwallu ysbrydoedd y plant a'r hen bobl sydd yn yr eglwysi, seiliedig ar 1 Pedr v. 2: 'Porthwch braidd Duw, yr hwn sydd yn eich plith, gan fwrw golwg arnynt; nid trwy gymhell, ond yn ewyllysgar; nid er mwyn budr-elw, eithr o barodrwydd meddwl;' ac ar Ef. Ioan xxi. 17: 'Efe a ddywedodd wrtho y drydedd waith, Simon mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i? Pedr a dristaodd am iddo ddywedyd wrtho y drydedd waith, A wyt ti yn fy ngharu i? Ac efe a ddywedodd wrtho, Arglwydd, ti a wyddost bob peth; ti a wyddost fy mod yn dy garu di. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Portha fy nefaid.'

"2. *Drwy eu helpu mewn profedigaeth, gwaeledd, a thlodi*, seiliedig ar Matt. xxv. 35, 36: 'Canys bum newynog, a chwi a

roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddiod; bum ddyeithr, a dygasoch fi gyda chwi; noeth, a dilladasoch fi; bum glaf, ac ymwelsoch â mi; bum yn ngharchar, a daethoch ataf;' ac ar Iago i. 27: 'Crefydd bur a dihalogedig ger bron Duw a'r Tad yw hyn: ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd.'

"3. *Drwy ddangos boneddigeiddrwydd a chyfiawnder yn ein hymadroddion, ein gweithredoedd, a'n buchedd*, seiliedig ar Philippiaid iv. 8: 'Yn ddiweddaf, frodyr, pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn, pa bethau bynag sydd bur, pa bethau bynag sydd hawddgar, pa bethau bynag sydd ganmoladwy, od oes un rhinwedd, ac od oes dim clod, meddyliwch am y pethau hyn.'

"SOOWONROY (*Cadeirydd*).
"KSAN BIN (*Ysgrifenydd*).

"*Dyddiedig Jiwai*,
"*Hyd.* 31, 1881."

Mae y cyfarfodydd hyn yn gwneyd llawer iawn o les i'r rhai fyddant yn bresennol, yn gystal ag i'r holl eglwysi drwy y wlad. Bydd amryw o gyfarfodydd eglwysig yn cael eu treulio i ymdrin â'r mater o gyfarfod y brodorion, oblegid, yn un peth, ei fod wedi ei ysgrifenu yn drefnus, ac yn hawddach ei gofio.

---

## DOSBARTH JAINTIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG TACHWEDD 16, 1881.

AR y 29, 30, a 31ain o'r mis diweddaf, cynnaliwyd yr Henaduriaeth yn Jiwai. Daeth yr oll o'r cenadon a thua 150 o ddyeithriaid o wahanol ranau o Khasia a Jaintia ynghyd, a da iawn oedd genym eu gweled oll, a chael eu croesawu. Yr wyf yn credu i ni gael cyfarfod da trwyddo o'r dechre i'r diwedd, a bod undeb a chydgordiad yn nodweddu ein holl weithrediadau, a bod yr Arglwydd gyda ni. Bore dydd Sadwrn am ddeg cafwyd ymdriniaeth fuddiol ar y mater a roddwyd i siarad arno, sef "Undeb â Christ." Gobeithiaf y bydd i'r hyn a ddywedwyd arno ddwyn y rhai ag sydd mewn undeb â Christ i sylweddoli hyny fwyfwy yn eu heneidiau bob dydd, ac i'r rhai sydd heb ei feddu i ymofyn am dano.

Am un o'r gloch cyfarfyddodd y brodorion wrthynt eu hunain. Yr hyn fu ganddynt dan sylw oedd, "Pa fodd i wneyd daioni i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd." Tynwyd allan nifer o benderfyniadau ganddynt i'w hanfon i'r gwahanol eglwysi, a rhoddwyd ar y cynnrychiolwyr ddwyn y rhai hyn i sylw a chael ymdriniaeth bellach arnynt yn y cyfarfodydd eglwysig yn eu cartrefleoedd.

Ni chafwyd oedfa nos Sadwrn fel arfer, gan nas gallem hebgor amser i hyny heb roi un o'r cyfarfodydd neillduol o'r neilldu. Hanes yr achos yn Nosbarth Jiwai a Shangpoong a fu dan sylw yn y cyfarfod hwn. Nid oedd genym ddim anghyffredin i'w hysbysu am Ddosbarth Jiwai. Da iawn oedd genym ddeall fod y cyfeillion yn Shangpoong yn myned i'r farchnadfa ar ddyddiau marchnad i bregethu yr Iesu a chanmawl ei gariad, a bod nifer lled dda yn dyfod i wrando.

Daeth cynnulleidfa o tua phum' cant i'r capel i wrando y Sabboth, ac yr oeddynt yn gwrando yn astud. Cyfarfod hyfryd iawn oedd y cyfarfod eglwysig a gafwyd nos Sabboth. "Dyweyd y gwir" oedd y mater. Cafwyd sylwadau gwerthfawr ar hyn gan y Cenadon a'r brodorion, ac yr oedd rhyw eneiniad oddiuchod yn cydfyned â hwy. Bore dydd Llun, cyn i'r brodorion droi tuag adref, cafwyd cyfarfod arall. Treuliwyd hwn i ymddyddan ar y mater a fu dan sylw gan y brodorion eu hunain ar wahân; ac ynghylch Bugeiliaeth Frodorol. Ni ddaethpwyd i un penderfyniad ar y mater olaf, ond gadawyd ef dan ystyriaeth hyd Henaduriaeth Shella. Yr wyf yn deall fod y mater yn cael ei wyntyllio gan y brodorion. Ceir gweled eto beth fydd y ffrwyth. Un arwydd dda iawn ynglŷn â'r cyfarfodydd hyn yw fod dyddordeb y Cristionogion brodorol yn cynnyddu ynddynt.

Yr oedd yn hyfrydwch genym weled Brenin Khadsawphra wedi dyfod yr holl ffordd i Jiwai er mwyn cael yr Henaduriaeth. Yr Arglwydd a roddo nerth iddo i lynu wrth ei broffes o Grist yn ddigwymp hyd y diwedd.

Yn un o'r cyfarfodydd daeth Dr. Griffiths â chynnygiad ymlaen yn gofyn ar fod i Gristionogion y gwahanol Ddosbarthiadau wneyd eu rhan mewn cyfranu at yr ysbyttŷ y bwriedir ei adeiladu yn Mawphlaug. Cymerwyd y peth i fyny yn galonogol, ac yr ydym yn hyderu y bydd iddo gael casgliad sylweddol at yr amcan teilwng hwn. Cafwyd gair byr, synwyrol ac i'r pwrpas, gan U Siim Lih (Brenin Khadsawphra) o blaid y casgliad.

Er pan ysgrifenais ddiweddaf derbyniasom un gŵr ieuanc i'r eglwys yn Jiwai, a bu farw un bachgen tua deg oed, o'r enw U William, o'r afiechyd poenus *tetanus*. Yr oedd corff y truan fel bwa saeth, ac yr

oedd mewn poen ddirfawr. Gwnaeth y meddyg (Bengali ag sydd yn Jiwai gyda y milwyr), Mr. Evans, a minnau, gymaint ag a allem erddo, ond er y cwbl bu farw. Diwrnod cyn iddo farw, dywedai wrth ei fam pan yr oedd yn wylo uwch ei ben, "Fy mam, peidiwch a wylo, yr ydwyf i farw, ac yr wyf wedi rhoddi fy hunan i Dduw, ac yr wyf yn ddedwydd yn awr." "Wnawn i ddim dy ollwng di, fy machgen i," meddai hithau. "Pwy all attal os bydd Duw yn galw?" oedd ei ateb synwyrol yntau. Chwi welwch oddiwrth hyn fod y bychan wedi cael gafael ar y gwir.

---

## YMADAWIAD Y PARCH. T. JERMAN JONES.

Cychwynodd Mr. a Mrs. Jerman Jones o'r afon Mersey yn y *City of Edinburgh* boreu Gwener, Rhagfyr 16eg. Y nos Lun blaenorol, yn nghapel Fitzclarence Street, cynnaliwyd cyfarfod i ffarwelio â hwy ac â Mr. Thomas Lewis, gynt o Fangor, yr hwn sydd yn bwriadu ymweled â Bryniau Khasia. Llywyddwyd y cyfarfod gan D. Roberts, Ysw. Traddodwyd anerchiadau gan y Parchn. Dr. Thomas, O. Jones, B.A., H. Jones, a J. Thomas, a Mr. J. Roberts, A.S., a chan y Parch. T. Jerman Jones a Mr. Lewis. Ffarweliodd y Cadeirydd, ar ran y gynnulleidfa, â'r cyfeillion oedd ar ymadael. Ar y diwedd cyflwynodd y Parch. P. Jones hwy i nodded ac arweiniad yr Arglwydd. Cafwyd cyfarfod nodedig o dda. Gwnaed casgliad tuag at y Genadaeth o £72 14s. 10c. Cychwynodd Mr. Lewis o orsaf Lime Street y dydd Mawrth blaenorol, gan fyned yn gyntaf i Lundain, oddiyno i Paris, ac yna dros y tir i Brindisi. Dysgwyliai gyfarfod y *steamer* yn Suez, a myned oddiyno ymlaen gyda hi i Calcutta.

Yr ydys yn hyderus fod ymweliad Mr. Jones â'r wlad hon, er mor fyr a brysiog y bu, wedi bod yn foddion i ennyn zel adnewyddol o blaid y Genadaeth, ac y ceir gweled hyny mewn haelioni ychwanegol tuag at ddwyn y gwaith ymlaen. Dymunol iawn fuasai i'w arosiad fod yn llawer hŵy; ond yr oedd wedi gadael India yn bur ddisymwth, ac heb wneuthur trefniadau i fod yn absennol o'i orsaf ond am amser penodol, ac wedi addaw wrth y cenadon a'r brodorion y byddai yn ol yn Khasia erbyn diwedd Hydref neu ddechreu Tachwedd. Er mwyn gallu dychwelyd o fewn yr amser a nodasai, ac ar yr un pryd ymweled â chynifer ag a fyddai yn bosibl o'r cynnulleidfäoedd, arwyddai y cenadwr selog ei barodrwydd i gynnal cynifer ag a ddewisid o gyfarfodydd bob dydd, a bu yn ddiwyd ac egnïol, heb arbed dim arno ei hunan. Er mwyn cyfarfod â dymuniadau cyfeillion oeddynt yn awyddus am ei weled a'i glywed, cydsyniodd i oedi ei ymadawiad o wythnos i wythnos; ymwelodd âg amryw gynnulleidfäoedd yn nghylch pob Cyfarfod Misol yn y Gogledd a'r Dehau; anerchodd dros gant a hanner o gynnulleidfäoedd ar yr achos cenadol. Pa fodd bynag, yn ngwyneb y dadganiad penderfynol a wnaethai Mr. Jones am yr angenrheidrwydd iddo ddychwelyd yn fuan, bernid nad doeth iddo oedi yn hŵy na'r adeg y cychwynodd. Mae yn ddrwg genym fod rhai cyfeillion y dysgwylid y gallasai Mr. Jones ymweled â hwy wedi cael eu siomi. Ond yr ydym wedi cael ein rhybuddio amryw weithiau am y pwysigrwydd, yn enwedig i rai yn myned i India am y waith gyntaf, gael cyrhaedd yno ddigon o amser cyn terfyn y tymmor sych, fel ag i gael pob mantais i ymgynnefino â'r hinsawdd. Yr ydym yn gobeithio y bydd y cwmni cenadol yn cyrhaedd y Bryniau mewn pryd i Mr. Lewis allu teithio yma a thraw ar hyd-ddynt am rai wythnosau cyn i'r gwlawogydd trymion ddechreu, ac i adael gwastadedd India, ar ei ddychweliad, cyn y gwres mwyaf; ac y caiff Mrs. Jones fantais i *acclimatizio* cyn i'r tymmor mwyaf afiachus ddechreu.

Derbyniwyd lliaws mawr o sypynau i'w hanfon i'r India gyda Mr. Jerman Jones at wasanaeth y Genadaeth. Cymerai lawer gormod o le yma i roddi enwau y rhoddwyr i gyd. Cydnabyddwyd derbyniad yr oll y cafwyd hysbysrwydd am danynt gan Meistri T. Jones & Co., Basnett Street, neu gan yr Ysgrifenydd. Rhoddwyd pob llythyrau a dderbyniwyd o berthynas i sypynau i Mr. Jerman Jones, a bydd ef mewn mantais i wybod am y rhoddion a'r rhai a'u hanfonasant. Gofalwyd am roddi yr holl sypynau nad oeddynt wedi eu pacio yn briodol eisoes mewn cistiau cryfion i'w hanfon i ffordd.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol tuag at y Genadaeth er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:—

| | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|
| Capel Penrhosfeilw, Caergybi, tuag at gael Testamentau i blant Khasia, trwy law Miss Ellen Morris, Caeysgubor .. | | 1 | 7 | 0 |
| Dosbarth M. Roberts, Llanfair, Harlech, trwy law y Parch. John Davies, Bontddu, Dolgellau .............. | | 0 | 15 | 4 |
| Rock Ferry .............................. | | 11 | 11 | 8 |
| Cymunrodd y Parch. Thomas Hughes, Caernarfon, trwy law y Parch. John Pryce Davies, M.A., Caerlleon .................. | 100 0 0 | | | |
| *Duty* .................. | 10 0 0— | 90 | 0 | 0 |

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Sir Fôn, trwy law Richard Davies, Ysw., M.P. | 400 | 0 | 0 |
| Penmorfa, Sarnau, Llandysul, swm a gasglwyd gan y chwïorydd tuag at gynnorthwyo y Parch. T. Jerman Jones i ddilladu plant bychain Khasia | 6 | 10 | 4 |
| Anfie d Road, Liverpool, Casgliad a wnaed Rhagfyr 2, tuag at brynu llyfrau i blant Khasia | 5 | 15 | 0 |
| New York (T. U. America), trwy law Robert Lewis, Ysw. | 10 | 0 | 0 |
| "Hector," Merthyr Tydvil | 0 | 5 | 0 |
| Llanerchymedd, i'w rhoddi i'r Parch. T. Jerman Jones er mantais y Genadaeth, trwy law y Parch. J. Williams | 4 | 10 | 0 |
| Ysgol Sabbothol Margam, Morganwg, trwy law Mr. H. Griffiths | 1 | 0 | 0 |
| Y Parch. W. Morgan, Pontardawe, i'w defnyddio fel y gwelo y Parch. T. Jerman Jones yn oreu | 1 | 6 | 0 |
| Ysgol Sabbothol Llanfwrog, at brynu llyfrau i'r Khasiaid, i'w hanfon gyda'r Parch. T. Jerman Jones | 1 | 0 | 0 |
| Miss Jane Jones, Bridge St., Aberystwyth, tuag at brynu Testamentau a Llyfrau Hymnau i blant tlodion Khasia, fel y gwelo y Parch. T. Jerman Jones yn oreu | 0 | 10 | 0 |
| "*Two Sisters*," Rhiwbryfdir, Rhodd i'r achos yn Khasia | 0 | 10 | 0 |
| Fitzclarence St., Liverpool (ychwanegol) | 0 | 5 | 0 |
| Parkfield, Birkenhead (ychwanegol) | 2 | 14 | 6 |
| Lleyn ac Eifionydd, trwy law Robert Jones, Ysw., Bank | 200 | 0 | 0 |
| Mrs. Catherine Owen, Caergeiliog, Môn, Rhodd ei mab bychan 10 oed, i anfon Llyfrau Hymnau i blant bach Shillong | 0 | 5 | 0 |
| Y Parch. J. Owen Jones, Capel Coch, Llanberis, at amddifaid yn Mryniau Khasia, trwy law y Parch. T. Jerman Jones .... 0 10 0 | | | |
| Mrs. Owen Jones .... 0 10 0 | | | |
| Miss Lizzie Jones .... 0 5 0— | 1 | 5 | 0 |
| Mr. Owen Jones, Fferam uchaf, Llansadwrn, Môn, i'w defnyddio gan y Parchn. Dr. Griffiths a Robert Evans | 2 | 4 | 4 |
| Ysgol Sabbothol y Fron, Dinbych, i'w defnyddio fel y gwelo y Parch. T. Jerman Jones yn oreu | 1 | 4 | 0 |
| Mr. T. J. Williams, Bryn celyn, Port Dinorwic, i brynu Esboniad i Kishor Sing | 0 | 10 | 0 |
| Miss Mary Griffiths, (merch fechan y Parch. Edward Griffiths, Meifod,) casgliad tuag at brynu llyfrau i'w hanfon gyda'r Parch. T. Jerman Jones | 0 | 5 | 0 |
| Mr. R. O. Pritchard, 83, Premier Street, Everton, at yr achos yn Shillong | 1 | 0 | 0 |
| Casgliad a wnaed yn y Cyfarfod a gynnaliwyd yn nghapel Fitzclarence St., Liverpool, Rhag. 12, 1881, i ffarwelio â'r Parch. T. Jerman Jones a'i briod, a Mr. Thomas Lewis, Llangefni :— | | | |
| Mr. Richard Williams, Great Homer Street .... 10 0 0 | | | |
| Cyfaill .... 5 0 0 | | | |
| Casgliad Cyffredinol .... 57 14 10— | 72 | 14 | 10 |
| "Chwaer," trwy law Mr. David Williams, Gyffin, Conway | 10 | 0 | 0 |
| X. P., trwy law yr Ysgrifenydd | 10 | 0 | 0 |
| Dosbarth Mr. H. Williams, Victoria Chapel, at yr Argraffwasg | 1 | 0 | 0 |

Derbyniwyd hefyd y symiau canlynol trwy law y Parch. T. Jerman Jones :—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mr. Urias Bromley, Caer, at roi Testamentau | 1 | 0 | 0 |
| Owen ac Ellen (bachgen a geneth) | 0 | 2 | 0 |
| John a Catherine, at lyfrau | 0 | 1 | 0 |
| Mr. Thomas Thomas, Cefn, Llangristiolus, at lyfrau i'r pregethwyr brodorol | 0 | 10 | 0 |
| Dr. Owen, Llangefni, 1 oz. Quinine | | | |
| Dr. Evans, Beaumaris, "Medicine Chest ragorol yn llawn o gyfferiau" | | | |
| Brithdir, er lles y gwaith | 0 | 2 | 11 |
| Llanrhaiadr-yn-Mochnant, at gapel Nongrymai | 2 | 8 | 2 |
| Tri o blant bach (Evans) at lyfrau i blant | 0 | 1 | 6 |
| Oswald Evan Jones, at lyfrau | 0 | 1 | 0 |
| Sarah Morris, eto | 0 | 0 | 6 |
| Mr. John Rowlands, at yr Argraffwasg | 0 | 5 | 0 |
| "Un yn teimlo dros blant amddifaid Khasia" | 1 | 0 | 0 |
| Llanfyllin, er lles y gwaith | 1 | 3 | 9 |
| Meifod, eto | 1 | 7 | 9 |
| Croesoswallt, at roi llyfrau i'r pregethwyr | 2 | 17 | 0 |
| Dosbarth J. Roberts *(Ioan Derfel)*, Penygarnedd, at wasanaeth y Parch. R. Evans, a'r ysgolion dan ei ofal | 0 | 10 | 6 |
| Mary Eliza Owen, at lyfrau | 0 | 2 | 6 |
| Brynmenai, at gapel Shangpoong | 2 | 18 | 7 |
| Master Robert Jones, at lyfrau i blant bach | 0 | 1 | 1½ |
| Katherine Jervis Jones, eto | 0 | 1 | 0 |
| Margretta Wood Jones, eto | 0 | 1 | 0 |
| Llanrwst, at gapel Nongrymai | 3 | 5 | 0 |
| Catherine Hughes, eto | 0 | 1 | 0 |
| "Friend to the Mission," at yr Ysbytty | 1 | 0 | 0 |
| Carneddi, eto | 3 | 13 | 9 |
| Mr. Hugh Williams, Bethesda, i brynu Testamentau | 0 | 3 | 0 |
| Miss Elizabeth Hughes, at gael unrhyw beth a ddewisir i'r Khasiaid | 0 | 2 | 0 |
| Mrs. Catherine Rowlands, Carneddi, at lyfrau | 0 | 2 | 0 |
| Mrs. Roberts, Fron, Carneddi, at Esboniad i Jagish Orsing .... 0 5 0 | | | |
| " at gapel Shangpoong 0 10 0— | 0 | 15 | 0 |
| Mrs. Morgan, ac eraill, Pengraig, Rhiwbwys, at yr Ysbytty | 1 | 0 | 0 |
| Mr. a Mrs. Davies, Treborth, at lyfrau i'r pregethwyr brodorol ac eraill | 5 | 0 | 0 |
| " y plant, eto | 5 | 5 | 0 |
| " Miss Beatrice, eto | 0 | 1 | 0 |
| Penmaenmawr, at lyfrau | 2 | 4 | 0 |
| Garston, eto | 1 | 1 | 0 |
| Plant Ysgol Sabbothol Grenville Hall, Liverpool, at roi llyfrau i blant Khasia | 0 | 14 | 3 |
| Smithdown Lane, eto | 1 | 12 | 2 |

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

Y DRYSORFA.

RHIF. 619.] CHWEFROR, 1882. [LLYFR LII.

## CYNNULLEIDFA YN ADDOLI.

UN o'r golygfeydd prydferthaf ar y ddaear yw cynnulliad o bobl, yn feibion a merched, yn hen ac ieuanc a chanol oed, wedi dyfod ynghyd i addoli yr Arglwydd. Dr. Watts, fel ei cyfieithir gan ein hen gyfaill, Eryron, sydd yn dysgu plant i ganu,

"Pa mor hyfrydlon, Arglwydd cu,
Gwel'd torf yn dy addoli di,
Mewn cân, mewn gweddi, 'n uno eu llef,
Gan ddysgu ynghyd y ffordd i'r nef!"

Ond y mae achos i ofni am lïaws sydd yn ymarfer â'r ordinhadau addoliad, nad ydynt o ran eu hysbrydoedd yn gwir addoli. Gwyn fyd na ellid dywedyd am holl gynnulleidfäoedd Cymru megys yr ysgrifenwyd am y gynnulleidfa a ddaethai gyda'r brenin Hezecïah i gadw cyfarfod o adgysegriad y deml wedi yr adgyweiriad arni, "A'r holl gynnulleidfa oedd yn addoli!" Yr oedd yr holl bobl felly, â'r gorchwyl o addoli ganddynt, agwedd addoli arnynt, ac ysbryd addoli ynddynt.

Gellir nodi fod y gwasanaeth addoliadol dan yr efengyl yn llawer mwy syml nag yr ydoedd dan y gyfraith. Mae addoliad y testament newydd yn ymwrthod â defodaeth seremonïol ac ymddangosiadau, ac yn gafael yn benaf mewn deall a chalon a chydwybod. Ond nid yw yn anmhriodol nodi hefyd nad yw yn debyg fod ysbryd addoli mewn dyn os nad oes, i ryw fesur, wedd addolgar arno yn allanol. Mae yr ysbryd addoli yn pelydru yn y llygad, yn gwneyd i'r wyneb lewyrchu, yn awchlymu y glust i wrando, ac yn peri i'r holl ystum corfforol, tra yn y cysegr, fod yn wasanaethgar i wir addoliad. Er hyny gall yr agwedd allanol fod yn weddaidd, tra byddo y meddwl a'r galon ymhell oddiwrth addoli yr Arglwydd. Bydded i ni yn wastad ddal ar eiriau yr Arglwydd Iesu: "Ysbryd yw Duw; a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef addoli mewn ysbryd a gwirionedd."

Addoliad cynnulleidfäol yw y mater sydd dan ein sylw. Edrychwn beth yw ansawdd a chymeriad cynnulleidfa yn addoli Duw.

Cynnulleidfa yn addoli yw *cynnulleidfa yn adnabod Duw, ac yn teimlo ac arddangos parchedigaeth i'w enw.* Hyn yn wir yw hanfod addoliad. Mae'r gair addoli, yn ei gysylltiad â Duw, yn arwyddo cydnabyddiaeth effeithiol o fawredd Duw ynddo ei hun, ac yn ei weithredoedd, ac o'i gymwynasgarwch i ninnau, gydag ymsyniad llwyr ddwys o'n dibyniad arno, a'n cyfrifoldeb iddo.

Mae'r byd yn gyffredin yn anghofio Duw. Llaweroedd o blant dynion sydd i'w cael o ddydd i ddydd, o wythnos i wythnos, ac o flwyddyn i flwyddyn, yn byw heb ymofyn â Duw, heb wneuthur unpeth i'w ogoneddu, ïe, heb feddwl dim am dano. Maent fel hyn yn atheistiaid ymarferol: "heb Dduw yn y byd." Ond y mae cynnulleidfa yn addoli yn cadw cydnabyddiaeth o Dduw o flaen y byd—yn ardystio yn uchel a nerthol, Y MAE DUW! a'r Duw hwn yw Awdwr ein bôd, Tad ein trugareddau, a Barnwr ein tynghed dragywyddol. Cynnulleidfa yw hon sydd yn ymdeimlo ac ymagweddu fel pobl yn gweled yr Anweledig, fel plant ufudd dod ar y ddaear yn gogoneddu eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd, gan gyffesu ei enw, mynegu ei rinweddau, a rhoddi yr eiddo Duw i Dduw.

Wrth addoli, y mae dyn yn dal cymundeb â Duw: y creadur yn ymddyrchafu at ei Greawdwr, a'r Creawdwr yn ymddarostwng at ei greadur; yr addolwr yn rhoddi'r gogoniant yn y drefn osodedig, a Gwrthddrych addoliad, wrth dderbyn y gogoniant ganddo,

yn estyn trugaredd a gras iddo; Duw yn tynu dyn ato ei hun, a dyn yn ei golli a'i gael ei hun yn Nuw. Tra y mae'r Goruchaf yn ei hollbresennoldeb hanfodol ymhob man, mae ei bresennoldeb grasol yn ei eglwys, a hwnw yn raslondeb sanctaidd, sydd yn galw am wylder a pharchedig ofn. Y rhai agosaf at Dduw sydd yn ei ofni fwyaf ac yn ei barchu oreu. "Duw sydd ofnadwy iawn yn nghynnulleidfa ei saint, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd." Yn ol y cerfiad ar y sêl y bydd yr argraff ar y cŵyr. Os bydd ofn yr Arglwydd wedi ei gerfio yn ddwfn ar ein calonau, gedy hyny argraff ddwys o barchedigaeth ar ein haddoliadau. A chrefydd salw a thlawd yw hono nad oes barchedig ofn Duw yn elfen gref ynddi. Yr ydym fel aelodau cymdeithas wladol i dalu parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus; a pha fath ryw barch arbenig a ddylem dalu yn addoliad Duw i Dduw yr addoliad? Mae pob un o iawn deimlad yn barod i anrhydeddu gwir deilyngdod neu ddaioni ymha le bynag y cyfarfyddir âg ef. Dyn cyfrifol a rhinweddol, gŵr doeth a da, un o duedd garuaidd a haelfrydig,—pwy nas cydnebydd hwnw mewn modd parchus? Yn nghysegr Duw, wele ni yn cyfarfod â'r Hwn y mae yr holl ragoriaethau, sydd yn ddyferynau mewn creaduriaid, yn fôr heb waelod na glàn ynddo ef, yr hwn yn unig sydd wreiddiol, anghenrheidiol, anfeidrol, anghyfnewidiol dda, nes, yn yr ystyr buraf a chyflawnaf, nad oes neb da ond un sef Duw; ac os byddwn yma yn ei addoli, bydd ynom galon gynhes ato yn arllwys parch a bri iddo.

Mae o bwys i ni gofio mai nid dynion wedi dyfod at ddynion yw cynnulleidfa yn addoli, ond dynion yn dyfod gyda'u gilydd at Dduw, oddiar gredu ei fod ef, a hyny i'w ogoneddu a'i fwynhâu. Wrth ganu mawl, mae'r bobl addolgar, nid yn aros ar seinio'r dôn yn rheolaidd, a gwneuthur *performance* celfyddol mewn peroriaeth, ond yn myned i ysbryd y salmau a'r hymnau a'r odlau ysbrydol, ac yn canu a phyncio yn eu calonau i'r Arglwydd. Mewn cysylltiad â'r weddi, nid yw'r gwir addolwyr yn gorphwys ar glywed erfyniau y neb fyddo yn gweddïo yn gyhoeddus, ond yn myned gydag ef, ac heibio iddo, at eisteddfa Duw, gan dywallt y galon ger bron yr Hwn a wrendy weddi. Ynglŷn â darllen y gair, mae cynnulleidfa yn addoli yn gwrando beth a ddywed yr Arglwydd Dduw, yn cymeryd y gyfraith o'i enau ef, a gosod ei eiriau ef yn eu calon—a chyda phregethiad y gair, yn derbyn y gair, nid fel gair dyn, ond fel y mae yn wir yn air Duw; nid yn unig yn gwrando'r gair, ond yn ei gadw. Pan wrth fwrdd yr Arglwydd, mae y rhai oll sydd yn addoli yn myned i mewn i'r sancteiddiolaf ei hun trwy waed Iesu, ac felly yn nesâu at yr Hwn a ddywedodd, "Mi a gyfarfyddaf â thi yno." A phan y gelwir arnynt i ymarfer haelioni mewn cyfranu at ryw gangen o achos crefydd, y maent hwy wrth wneuthur hyny yn addoli, yn yr un ysbryd â'r brenin Dafydd pan ddywedai, "Pwy ydwyf fi, a phwy yw fy mhobl, fel y caem ni rym i offrymu yn ewyllysgar fel hyn? canys oddiwrthyt ti y mae pob peth, ac o'th law dy hun y rhoisom i ti."

Holwn ein hunain a fyddwn ni yn dyfod i dŷ Dduw i addoli Duw; nid dyfod i weled a chael ein gweled, nid o herwydd fod hyn yn arferiad genym fel personau neu fel teuluoedd, nid i foddhâu cyfeillion, nid i bor thi ywreingarwch, nid i dderbyn cynhyrfiad tymher a chael awel hwyliog, ond gan ymsynio gyda'r Salmydd, "Minnau a ddeuaf i'th dŷ yn amlder dy drugaredd; addolaf tua'th deml sanctaidd yn dy ofn di." Adroddir am yr hen bregethwr hybarch, John Evans o'r Bala, cyfaill mawr i Mr. Charles, ei fod yn ei flynyddoedd diweddaf, pan wedi myned yn hynod oedranus, dros ddeg a phedwar ugain mlwydd oed, ac yn drwm iawn ei glyw, eto yn un o'r rhai ffyddlonaf am fyned i'r cynnulliadau crefyddol, ac yn gofalu yn wastad am fod yno yn brydlawn, yn gystal âg yn gyson. Wedi i ryw gyfaill waeddi yn ei glust, "Pa sut yr ydych yn myned i'r capel mor ddigoll, â chwithau yn methu clywed yno nemor ddim?" ei ateb oedd, "Mae yn dda genyf allu myned yno i addoli yr Arglwydd." Dyna yr hen gristion da yn niwedd ei oes yn cyrchu i'r addoldŷ er holl wendid henaint, nid yn gymaint i gael, ond i roddi, yn ol y gorchymyn, "Rhoddwch i'r Arglwydd, rhoddwch i'r Arglwydd ogoniant ei enw." Rhoddwn ninnau fawredd i'n Duw ni; ac wrth wneuthur hyny y gos dwn y mawredd uchelaf arnom ein hunain.

Cynnulleidfa yn addoli yw *cynnull-*

*eidfa yn gwerthfawrogi a defnyddio yn gwiriol aberth y Cyfryngwr.* Wrth chwilio llyfr yr Arglwydd, ni a welwn na bu o'r dechreuad yr un ffordd i ddyn pechadurus nesâu at Dduw ond trwy aberth. Yn ebrwydd wedi'r cwymp, yr oedd allor i aberthu arni yn hynodi lle yr addoliad. Drwy yr oesau patriarchaidd, yr oedd alloreu i'r Arglwydd yn cael eu hadeiladu, a phoethoffrymau yn cael eu haberthu arnynt; a chyda yr aberthau hyny y deuid ger bron yr uchel Dduw. Ac wedi i'r Jehofah ddewis plant yr Israel yn eglwys iddo ei hun, wele gyfundrefn reolaidd o addoliad aberthol wedi ei sefydlu; y cwbl yn egluro nad oedd modd tynu ymaith bechod dyn heb gael bywyd creadur diniwed i'w offrymu yn lle bywyd dyn euog—mai gweddus oedd i'r Arglwydd cyfiawn gael iawn dros bechod cyn y gallasai roddi derbyniad i bechadur, neu, yn ngeiriau'r Bibl, "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant."

Am yr holl ebyrth gynt, gwyddom nad oeddynt ond cysgod daionus bethau a fyddent; yr oedd y corff, y sylwedd, o Grist. O'r diwedd, ymddangosodd Duw yn y cnawd, y Duwdod yn Mherson y Gair tragywyddol yn dyfod yn ddyn, fel mewn corff wedi ei ddarparu yr offrymai ei hun yn ddifai i Dduw. Ac yr oedd ei un aberth ef mor effeithiol fel nad oes eisieu aberth arall dros bechodau yn dragywydd. Wedi marw o Grist yn aberth drosom, ac wedi iddo yn Brynwr byw fyned i offeiriadu yn y gwir gysegr, nid oes bellach yr un offeiriadaeth swyddol i weini ar y ddaear, na gwaedu a llosgi yr un creadur yn aberth i fod mewn addoliad byth mwyach, fel y canodd Richard Jones o'r Wern,

"Ychain, teirw, a durturod,
Hyrddod, bychod, mynod mwy,
Wyn ac adar, oll gorphwyswch,—
Ni chewch gan y Leflaid glwy':
Er eich gwaed, ni chaed gollyngdod,
Iawn i Dduw, na chymmod chwaith;
Ar Galfaria gwaedwyd digon
Mwy i dragwyddoldeb maith."

Megys yr oedd yr aberthu cysgodol yn dal lle mawr yn addoliad yr eglwys Iuddewig, felly y mae aberth Crist, yr unig aberth gwirioneddol yn ein lle, yn ganolbwynt addoliad yr efengyl. Er i ni ymarfer mewn cysondeb â defodau addoliad, bydd yr holl wasanaeth yn wrthodedig gan Dduw os heb ffydd yn ei waed Ef, yr Hwn a osododd Duw yn iawn. Mae yn rhyfedd yn wir fod yr Arglwydd Ddaw yn derbyn, ïe, yn galw troseddwyr a gwrthryfelwyr i'w addoli; y Goruchel a'r dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn Sanctaidd, yn cymeryd yn foddlongar ei addoli gan bechaduriaid! Ydyw, gan bechaduriaid ar y ddaear; eithr nid oes dim a wnelo efe mewn ffordd o addoliad â phechaduriaid yn uffern. Nid ydym yn dywedyd na ddylai angylion syrthiedig, fel y maent yn greaduriaid Duw, addoli eu Creawdwr gogoneddus; ond byth er y pryd na chadwasant eu dechreuad, nid yw Duw wedi gofyn addoliad ganddynt hwy; ni threfnodd efe ordinhadau addoliad iddynt; ac, yn ddiau, ni dderbyniai efe addoliad oddiar law cythreuliaid pe meddylient rywbryd am gynnyg addoliad iddo. Wele, paham y mae dyn pechadurus yn cael addoli Duw, pan na chaiff angel pechadurus? Am fod yn y cysegr uchod Archoffeiriad mawr yn natur dyn, un wedi ei osod dros ddynion yn y pethau sydd tuag at Dduw, Archoffeiriad sanctaidd, diddrwg, dihalog, didoledig oddiwrth bechaduriaid, ac eto wedi ei aberthu ei hun dros bechaduriaid o ddynolryw. Trwyddo ef, a thrwyddo ef yn unig, y mae addoliad trigolion euog ac anmhur y ddaear yn gymeradwy yn nef y nefoedd.

Yn y goleu hwn y gwelwn mor bwysig a gwerthfawr yw yr addoliad efengylaidd. Os cawn gynnulleidfa yn addoli, dyna i ni brawf gweledig fod angeu'r groes yn para eto yn ei rinwedd—sêl o'r newydd i ragoroldeb y gwaith rhyfedd am yr hwn y dywedodd y Gweithiwr mawr, "Gorphenwyd!" Wele ddyledswyddau yn myned trwy haeddiant Crist i fyny o'r ddaear i'r nefoedd, a bendithion yn dyfod drwy yr un haeddiant i lawr o'r nefoedd i'r ddaear. Ymofynwn a oes genym ni ffydd yn Nghrist, ac, os oes, a ydyw'r ffydd hono genym mewn ymarferiad bob tro y byddwn yn yr addoliad. Heb y gras o ffydd, mae ein personau allan o Grist, a chan hyny yn nghyrhaedd melldith y ddeddf; ac heb yr ymarferiad o ffydd, mae ein haddoliad yn ddi-Grist, ac os felly, nid addoliad mo hono yn nghyfrif Duw, ond megys corff heb enaid yn gelain farw. Bydded genym Grist yn bob

peth, ac ymhob peth, gyda holl gyflawniadau ein haddoliad.

Cynnulleidfa yn addoli yw *cynnulleidfa yn anghofio ar y pryd bob gwahaniaethau daearol, ac yn cydgyfarfod gyda phethau yr iachawdwriaeth gyffredinol.* Mae pawb o bob sefyllfa yn nhŷ yr Arglwydd yn cyd-addoli—yr addoliad cynnulleidfaol yn rhoi enw a lle i'r naill fel y llall, gan fod yr holl raddau gyda ni yn gydradd o flaen Duw.

Nid yw cydraddoldeb gyda phethau tymmorol, *equality* o ran meddiant a chyflwr bydol, yn bosibl nac yn briodol. Nis gall y pendefig fyw gyda'r llafurwr yn y bwthyn, na'r llafurwr gyda'r pendefig yn y palas. Nis gall y gwas gydeistedd â'i arglwydd yn y *drawing-room*, na'i arglwydd gydag yntau yn y *servants' hall*. Nis gall y boneddwr gydfwyta yn hapus a'r gwreng wrth ford y pryd o ddail, na'r gwreng arferyd cydginiawa â'r boneddwr wrth fwrdd yr ych pasgedig. Ond yn addoliad Duw, y tlawd a'r cyfoethog a gydgyfarfyddant, ac yma yr adgofir iddynt yn y ffordd rymusaf mai yr Arglwydd yw Gwneuthurwr y rhai hyn oll. Nid oes neb yn rhy fawr i addoli y Duw Goruchaf, na neb yn rhy wael i Dduw pob gras dderbyn ei addoliad. Mewn tŷ addoliad, nid oes achos i undyn deimlo ei hun fel wedi dyfod i le heb hawl ganddo na chroesaw iddo. Mae'r gwerinwr gwladaidd a'r uchelwr pendefigaidd, y wasanaethyddes a'r arglwyddes, y diddysg a'r ysgolaig, y dyn du a'r dyn gwŷn, pawb o bob gradd, yn sefyll yn gydwastad yn addoliad yr Hollalluog; o herwydd fel creaduriaid, yr un natur ddynol sydd ganddynt, ac fel pechaduriaid, yr un anghen ysbrydol sydd arnynt, a'r un iachawdwriaeth dragywyddol sydd iddynt. Nid ar ddyn cyfoethog fel cyfoethog, nac ar ddyn tlawd fel tlawd, y sylwir yma, ond ar ddyn fel dyn: dyn fel cywreinwaith llaw greadol Duw, dyn fel gwrthddrych darpariaeth gras Duw, dyn fel yn meddu yr un naturiaeth â'r natur a wisgir bellach gan Dduw'r Mab goruwch yr holl nefoedd, dyn fel un sydd i lânio yn fuan ar gyfandir tragywyddoldeb,—dyna bwysau dyn yn nghlorian y cysegr. Diolchwn yn wresog am yr ordinhâd o addoli, oblegid rhoddir yma i bawb eu lle: dyn yn cael gwneyd cyfrif o hono fel dyn, a Duw yn cael ei ogoneddu fel Duw.

Ond i ni gofio yr hyn a nodwyd o'r blaen, mai dyfod at Dduw yr ydym wrth ei addoli ef, ni a ddeallwn fod yr uchelradd fel yr iselradd yn myned o'r golwg yn ymyl Duw. Mae'r gareg hanner-canpwys yn edrych yn fawr yn ymyl y garegan owns; ond doder y naill a'r llall wrth droed yr hen graig anferth sy'n cuddio ei phen yn y cymylau, ac fe fydd y fwyaf, yn gystal â'r leiaf, yn myned yn ddisylw wrth ei maintioli hi. Mae'r gwpanaid ddwfr yn edrych yn ddistadl gerllaw'r farilaid ddwfr, ond nid mor ddistadl ag yw'r lloned baril wedi ei doder ar làn y môr mawr llydan o'i gymharu â'r eigion. O yr anfeidrol Wrthddrych addoliad! "mawr yw yr Arglwydd, a chanmoladwy iawn, a'i fawredd sydd anchwiliadwy." Nid yw yr holl genedloedd, holl ddynolryw, i'w cyfrif wrtho ef ond fel defnyn o gelwrn—fel un dyferyn o ddwfr ar ben bys; ac wedi rhanu'r dyferyn hwnw yn naw neu ddeg can' mil o filoedd o dipynau, pa faint yna a fyddi di, greadur sydd yn meddwl cymaint o hono ei hun? Er mwyn dyfod â ni yn ostyngedig ynom ein hunain, ac yn wir garuaidd at ein gilydd, agored yr Arglwydd lygaid ein meddyliau i'w weled ef ei hun.

Un teulu yw cynnulleidfa yn addoli; "un corff," heb ganddynt ond "un Ysbryd, un gobaith, un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll." Un cwmni ydyw, wedi esgyn i fynydd yr Arglwydd, i weled golygfëydd denladol a phell; ac oddiar fynydd Duw, mae twmpathau cyfoeth ac urddau bydol yn edrych yn fychain iawn, ac, yn wir, yn myned islaw sylw. Ond oddiyno, fe welir draw, draw fryniau uchel ardderchog. Y cariad sydd uwchlaw gwybodaeth, y rhagorol olud gras, y cyflawni â holl gyflawnder Duw,—dyna fawrion bethau ein hefengyl a'n haddoliad ni. O am i ni gael ein codi yn ysbryd ein meddwl uwchlaw holl bethau'r bywyd hwn, fel y gallom dystio oddiar brofiad hyfryd, "Yn mynydd yr Arglwydd y gwelir!"

Cynnulleidfa yn addoli yw *cynnulleidfa yn ymbarotoi ac yn ymdebygu i'r nefoedd.*

Dechre'r nefoedd ar y ddaear, darlun bychan o'r nefoedd, a rhan o drefniant y cymhwyso i'r nefoedd, yw addoliad yr Arglwydd ymysg dynion. Yn y babell a'r deml, yr oedd raid myned

drwy'r cysegr neu'r lle sanctaidd i'r cysegr sancteiddiolaf; ac yn gyffelyb eto, trwy ac oddiwrth addoli gyda'r frawdoliaeth yn y cysegr isod, y gallwn ninnau fyned i addoli gydag angylion a saintiau yn y gysegrfa uchod. Mae'r cantorion a'r cantoresau sydd i gydymuno mewn cydgan pwysig, yn arfer cyfarfod droion i fyned dros eu caniadau, er mwyn iawn ddarpar erbyn y dadganiad mawr cyhoeddus. Os ydym ninnau yn dysgwyl cael rhan yn yr addoliad gogoneddus o flaen gorseddfainc Duw yn oes oesoedd, rhaid i ni ymarfer yn barotoadol âg addoli yn mhabell Duw dros yr amser sydd yn ol yn y cnawd. Hwynt-hwy sydd yn addoli mewn gwirionedd, efrydwyr yn y brifysgol ydynt, yn ymgymhwyso at wasanaeth ac urddas mawreddog yn y brifddinas. Diau fod genym lawer o frodyr a chwïorydd, er nad ydynt eto yn eu cael eu hunain ond yn ysgoleigion bychain iawn, sydd yn ymdrechgar yn ceisio dysgu'r wers a gaiff ryw ddydd ei dadgan yn ddifai yn nghanol cymeradwyaethau nef y nefoedd. Teimlad byw yn enaid cristion yw mynegiad yr hen bennill hwnw,—

"Yn ysgol rad fy Nuw,
Peth rhyfedd yw, fe 'm rhoed,
I ddysgu iaith y Ganaan draw,
Gan Athraw goreu erioed:
Ac er na fedraf fawr
Yn awr o iaith y nef,
Pwy ŵyr na ddôf i fedru 'n iawn?
Un mawr ei ddawn yw Ef."

Meddwl hynod o hyfryd yw fod cynnulleidfa sydd yn addoli yma yn rhan o'r un gymdeithas â chymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntafanedig sydd yn addoli yn ddifeïus mewn dedwyddwch. Maent yn aelodau o'r un côr, a chanddynt eu cyfran yn y felodedd fawr, *chorus* yr Haleluia i Dduw a'r Oen; ac er ymhell o gyrhaedd eu perffeithrwydd hwy sydd â'u safle yn yr *orchestra* nefol, nid achwynant hwy yno fod dim yn anghydgordiol ac anghydsain yn y ganiadaeth sy'n dyrchafu oddiyma. Ydyw, y mae yr addolwr efengylaidd, yn nghanol ei holl anmherffeithrwydd ar y ddaear, yn yr un frodoriaeth â'r ysbrydoedd pur sydd yn gweled Duw yn ddi-lèn, yn ei fwynhâu yn ddirwystr, ac yn ei foli yn ddiegwan; ac y mae yr hyfrydwch a'r fendith a dderbynia efe wrth addoli yn bresenol, yn ernes ac yn flaenffrwyth o'i wynfyd nefol, pan y ceir ef yn eu mysg yn seinio mor uchel a pheraidd â hwythau, "Teilwng yw yr Oen a laddwyd!" Y parotoad goreu i'r nefoedd yn y byd hwn, gan hyny, yw ysbryd ac ymarferiad o addoli. Nis gall na bydd pobl heb anian addoli Duw cyn marw yn hollol annhueddol ac analluog i'w addoli ar ol marw. Ond am y rhai oll a geir yn y byd sydd yr awr hon yn addoli yr Arglwydd, er mai nid heb wendid nac heb lygredd, eto o'r galon yn nhrefn yr efengyl, cânt hwy yn y byd hwnw fod wrth eu bodd yn addoli yn berffaith am dragywyddoldeb.

Cyn terfynu ein hymdrin â'r mater hwn, mae o bwys i ni goffa, am yr addoliad cynnulleidfäol, mai cydgynnulliad ydyw o addoliadau personol. Nid un cyfangorff mo gynulleidfa, ond llïaws o bersonau yn yr un lle, a chyda yr un gorchwyl. Am hyny dylai pob un, wedi dyfod i fysg y gynnulleidfa, ymofyn, A wyf fi yn bersonol yn addoli? A ddaeth fy meddwl o ddifrif at Dduw yn Nghrist? A ydyw fy ysbryd yn dyrchafu uwchlaw'r byd hwn at bethau'r byd a ddaw? A oes ynof ymgysegriad ewyllysgar a thrwyadl i'r Arglwydd? Nid digon gan y gwir addolydd fod gydag ordinhadau yr efengyl fel y claf gyda chyffyriau meddygol, yn eu cymeryd, nid oddiar chwaeth atynt, ond oddiar ymsyniad o anghenrhaid; eithr mỳn ddyfod atynt fel at y wledd ragoraf, gydag awydd a hyfrydwch. Ei iaith yw, "Gwell yw diwrnod yn dy gynteddau di na mil. Gwell i mi gyfraith dy enau na miloedd o aur ac arian."

Pwy bynag sydd mewn gwirionedd yn addoli Duw yn y gynnulleidfa, rhaid i ni gredu fod hwnw hefyd yn ffyddlawn yn y cyflawniad dirgel o addoliad; addoliad yr ystafell, wedi cau ei ddrws arno, lle nas gall clod dynion, na dim cywreinder, fod yn un nôd na chymhelliad. Mae yr addoli personol yn y dirgel yn barotoad ardderchog at yr addoli yn y gynnulleidfa, fel gwlith y bore ar y sychdir yn ei alluogi yn well i yfed y cawodydd, y rhai, oni buasai am y lleithder a gaed trwy'r gwlith, a allasent yn unig wlychu gwyneb y tir heb dreiddio i mewn iddo.

A'r neb, ag efe yn benteulu, sydd yn ddiragrith ei addoliad cyhoeddus, ni a dybygem nas gall efe fod yn esgeulus mewn addoliad teuluaidd. Dysgwyl-

iwn fod eglwys fechan yn ei dŷ ef, lle y ceir ef a'i dylwyth yn gwasanaethu yr Arglwydd.

A gellir sicrhâu ymhellach fod pob un a fydd yn addoli gyda'r gynnulleidfa yn nhŷ Dduw, yn byw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, wedi myned adref i'w dŷ ei hun.

Mae'r addolwr cywir hefyd yn galw'r Sabbath yn hyfrydwch, nid yn unig nac yn gymaint fel dydd o seibiant i gorff blinedig ar ol llafur a gofal yr wythnos, ond am mai dyma'r dydd penodol i addoli, y dydd y mae Brenin y nefoedd yn mynu ei anrhydeddu. Os dywed bydolddyn, Pa flinder yw? pa bryd yr ä'r Sabboth heibio? dywed yr addolwr,

Henffych i'r Sabboth! hyfryd ddydd,
I'r meddwl fod mewn hedd yn rhydd:
Dydd i fod gyda Duw a'i waith,
Y dydd melusaf yw o'r saith!

---

## BYWYD YN HELAETHACH.

*Gan y Parch.* THOMAS REES, *Merthyr.*

IOAN x. 10: "Myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach."

PRIN y mae eisieu dywedyd i hysbysu neb o'n darllenwyr geiriau pwy yw y rhai hyn. Mae y nifer amlaf o lawer, os nad pob un o honynt, dybygid, yn eithaf cyfarwydd â hwy. Ac heblaw hyn, gwyddant oll ddigon i benderfynu yn union iaith pwy ydynt,—iaith pwy y rhaid eu bod, mai iaith Un "yn yr hwn y mae bywyd," "yr hwn yw y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol." Y maent yn dwyn tystiolaeth, anuniongyrchol mae yn wir, eithr anghamsyniol ddigon, i Ddwyfoldeb Person y Gwaredwr. Os y meddylddrych mwyaf amlwg yma,—yr un sydd yn gorwedd ar wyneb y geiriau gwerthfawr, sydd yn ein taro gyntaf ynglŷn â hwy yw, nid gogoniant ond gras—nid mawrhydi ond trugaredd yr Iesu, fel yr ydym yn dra thueddol i gael ein cymeryd i fyny yn hollol gan y gras sydd yn gorwedd ar y wyneb, fel ag i edrych dros y gogoniant a'r mawrhydi sydd yn gorwedd odditanodd,—camsyniad sydd yn fwy anhapus a niweidiol ar y cyfrif hwn, na welir byth hyd yn nôd y gras yn y fath ymadrodd yn ei arbenigrwydd a'i ardderchogrwydd uchaf, hyd nes y gwelir ef mewn cysylltiad uniongyrchol â gogoniant yr Iesu, gras yr hwn ydyw,—fel wrth golli y gogoniant, yr ydym i raddau helaeth iawn yn colli y gras hefyd. Y mae gogoniant Dwyfol Emmanuel,—Duw wedi ymddangos yn y cnawd—yn dyfod i'r golwg yma yn ei holl fawrwychedd, yn y cariad annhraethol sydd yn ymddangos. Ac felly, y mae yn dyfod yn beth o'r pwys mwyaf i ni ymarfer ein hunain i ganfod, a dal ar y ddwy elfen hon yn y geiriau hyny o eiddo yr Iesu, lle y maent yn dangos y fath gyfuniad rhyfeddol,—y gogoniant a'r gras, y mawrhydi a'r cymwynasgarwch. Y mae rhywbeth addas neillduol yn yr olwg hon, pan y llewyrcha Ysbryd Duw arni, i alw allan gariad ac ymddiried y galon.

Llefaru am ei braidd, ei ddefaid, ei eglwys, ei bobl, y mae ein Harglwydd yma, gan ddadgan ei amcan bendigedig gyda golwg arnynt wrth ddyfod i'r byd. Dyma oedd yn ei olwg—yr hyn oedd ei fryd arno wrth ddyfod yn ddyn, a gwneyd yr hyn a wnaeth yn ein natur ni yn nyddiau ei gnawd. Dyma duedd rasol, ac effaith ddaionus ei ddyfodiad ef yn y cnawd.

Dygir hyn i mewn yma, mewn gwrthgyferbyniad i amcanion maleisus a melldigedig, tuedd niweidiol, ac effeithiau dinystriol, gwaith rhywrai eraill y cyfeirir atynt, yn enwedig y "*lleidr*" y sonir am dano yn nechre yr adnod. Pwy yw "y *lleidr*" yma, nid ydys yn cydweled yn hollol: a oes golwg ynddo ar ryw un penodol mwy na'i gilydd, a elwir o herwydd ei arbenigrwydd "y *lleidr;*" neu a ddefnyddir y gair yn gyfystyr â lladron, i nodi allan yr hyn sydd yn perthyn yn gyffredin iddynt fel dosbarth? Cyfeiriasai ein Harglwydd yn flaenorol at ladron ac yspeilwyr oeddynt wedi dyfod o'i flaen ef, a dywed mai dyna oedd cynifer oll ag a ddaethai o'i flaen ef.* Swyddogion ac athrawon crefydd o bob-ryw ymhlith yr Iuddewon ar y pryd a ddynoda fel hyn, mae'n eithaf amlwg a diammheuol, y rhai a honent eu bod, ac ddylasent ymhob modd fod, yn fugeiliaid praidd Duw mewn gwirionedd, o'r iawn ryw, er eu bod ymhell o fod yn gyfryw. Yr oeddynt yn bobpeth ond hyny. Eithr delir ei fod ef yma wedi rhoddi heibio gymharu a chyferbynu ei hun â'r cymeriadau gwael a hunangeisiol hyn, a'u gwaith andwyol, a'i fod yn dyfod

* Yr ydys wedi teimlo cryn anhawsder yn y geiriau hyn. Y maent wedi rhoddi cryn drafferth i'r esbonwyr. Nis gallai yr Iesu gynnwys yn ei iaith yma bob un a ddaethai o'i flaen at y genedl o ran amser. Os na, pa beth y mae yn ei olygu? Gan y gellir cymeryd y gair a gyfieithir yma, "o'm *blaen* i," am o flaen o ran *lle* yn gystal ag o ran amser, onid y ffordd oreu, os nad yr unig un iawn, i symud yr holl anhawsder yn y geiriau, yw ei gymeryd felly yma? Cynifer oll ag sydd yn myned o'm blaen i, rhyngwyf â'r defaid, ar eu ffordd hwy i ddyfod ataf, a myned trwof i mewn i'r gorlan.

styw un arall mwy penodol a nodedig. Y mae arbenigrwydd, meddir, yn perthyn i hwn, fel y mae y fannod yn y gwreiddiol, "y lleidr," yn arwyddocâu. Mewn gair, eu tad hwy ydyw, oedd yn eu dodi hwy ar waith—y diafol ei hun, yr hwn sydd wedi profi ei hun yn llofrudd yn gystal ag yn lleidr, yn gelwyddog, ac yn lleiddiad dyn o'r dechreuad. Byddai felly gyferbyniad tarawiadol iawn rhwng yr hyn a ddywedir yn rhan olaf yr adnod âg yn y rhan flaenaf: yr un drwg yn dyfod i ladrata, i ladd, ac i ddystrywio; ond yr hwn a ddaethai i ddattod gweithredoedd y diafol, nid i ladd ond i gadw yn fyw,—ie, i roddi bywyd; nid i ladrata, cymeryd ymaith eiddo gwerthfawr, eithr cynnyddu eiddo y sawl y daethai atynt. Y mae hyn oll yn eithaf gwir, ac yn meddu llawer o rym, er ei fod yn ammheus ei wala ai dyma y deongliad iawn. Nid yw mor naturiol a chyson, dybygid, yn sicr yn y diwedd. Onid yw yn gwneuthur y treigliad yn ddisymwth a threisiol? Ymddengys yn fwy naturiol, a nês i'w le, gellid meddwl, i gymeryd "y *lleidr*" am ladron yn gyffredinol, fel y mae ein cyfieithwyr ni wedi gwneyd, trwy adael allan y fannod, gan nad yw o anghenrheidrwydd yn dynodi rhyw un, eithr yn unig yn gosod arbenigrwydd, neu bwyslais, ar y peth. Pa fodd bynag, pwy bynag ydyw, nid yn unig y mae yn lladrata, ac yn lladd, ac yn dystrywio, wedi dyfod, neu yn dyfod i hyny, eithr yn unig i hyny,—i ddim ond hyny. Mor wahanol a gwell, ie, hollol wrthwyneb, yw fy nôd a'm neges i, y Bugail da! Mae yma enghraifft yn gystal ag yn amgylchiad "y gwas cyflog," ychydig nês ymlaen yn y bennod, o'r dull Hebreig arferol o osod allan wirionedd yn gyntaf yn nacäol, yna yn gadarnhäol. Nid wyf fi fel y lleidr pan ddaw at y gorlan, neu at y praidd, yn dyfod i yspeilio a dinystrio, eithr fel y Bugail da yn dyfod i roddi bywyd, a bywyd yn helaethach iddynt. Myfi a ddaethum nid i ysglyfaethu ond i ymgeleddu; nid i anrheithio ond i anrhegu; nid iddynt fod ar eu colled ond ar eu hennill; nid eu hamddifadu ond cyfranu iddynt; nid dwyn oddiarnynt ond dyfod â'r peth goreu a allaswn gyda mi iddynt; nid lleshâu fy hun ar draul y praidd, ond llesâu y praidd ar fy nhraul fy hun, a hyny ar draul yr aberth mwyaf erioed. Daeth Ef nid i gadw yn fyw fywyd oedd eisoes mewn meddiant, ond i gyfranu bywyd newydd oeddid hebddo o'r blaen. Daeth nid i ddiogelu parhâd eu gafael o'r hyn yr oeddynt yn berchen arno, ond i'w cynnysgaethu â'r hyn yr oeddid yn amddifad hollol o hono o'r blaen, a'i gyfranu mewn addigonedd cyfoethog, diball a didrai.

Y mae yr Iesu yn treiglo yma o'i arddangos ei hun fel drws y defaid, neu ddrws y gorlan i'r defaid, i osod ei hun allan fel "Bugail da" iddynt. Y mae nid yn unig yn ddrws y defaid, iddynt fyned trwyddo i mewn i'r gorlan ac allan, eithr yn ychwanegol at hyn, y mae yn weithredol yn rhoddi bywyd iddynt, a hyny yn helaethach. Fe allai mai dyma y prif wahaniaeth, os nad yr holl wahaniaeth, rhwng ystyr geiriau y testun â'r hyn sydd ar lawr yn yr adnod flaenorol. "Os â neb i mewn trwof fi, efe a fydd cadwedig, ac a â i mewn ac allan ac a gaiff borfa." Y maent, dybygid, yn golygu yr un peth i fesur mawr yn sylweddol, os nad yn gyfangwbl a hollol. Mae bywyd yn gyfochrog â, ac yn cyfateb i, fod yn "gadwedig," a'i gael ef yn helaethach, yn cyfateb i "fyned i mewn ac allan a chael porfa,"—ddim ond cadw mewn cof ei fod yn y naill yn son am beth priodol perthynol iddo yn y naill gymeriad, sef drws y defaid, a'i fod yn y llall yn desgrifio yr hyn sydd briodol perthynol iddo yn y cymeriad arall, fel Bugail da y praidd; onidê yr un fendith neu fraint ydyw. Dynoda yr Iesu, "y cyflawnder bendith" y daeth ef i'w gyfranu i'w bobl wrth y gair "*bywyd*." Nid yma yn unig y mae yn gwneyd hyn wrth gyfeirio atynt fel ei ddefaid, eithr yn fynych—yn arferol—ac mewn cysylltiadau eraill gwahanol yn gystal, gwna yr un peth. Dyma ei hoff enw,—yr un a ddefnyddiai o hyd am y dawn annhraethol a ddenai trwyddo. Dyma yr hyn oedd ar y byd ei anghen, ei wir a'i fawr anghen; "yr un peth anghenrheidiol" ydyw, nad oedd neb ond efe yn abl ei roddi. Daeth ef o bwrpas mewn trefn i ddwyn hyn oddiamgylch. Rhaid ei fod yn beth pwysfawr i'r eithaf, gwerthfawr, anmhrisiadwy, a gogoneddus tu hwnt, cyn y deuai ef o'r nefoedd i'r ddaear,—Duw yn ymddangos yn y cnawd a marw ar y croesbren, i'w roddi. Rhoddodd ei fywyd ei hun drostynt i allu rhoddi iddynt y bywyd hwn. Oddiar hyn, y mae nid yn unig yn deilwng o'n sylw, yn ei hawlio ac yn ei haeddu yn dda, eithr yn gofyn am ein derbyniad parod, croesawus, llon, a diolchus o hono. Y mae hyn yn gyfiawn ddyledus oddiwrthym. Mae ein lles a'n llwyddiant uchaf—iddi fod yn dda arnom byth, yn ymddibynu yn gyfangwbl ar gyfranogi o hono; ar i ni ei feddu yn bersonol mewn gwirionedd. Mae'r testun yn dysgu mwy na bod y bywyd hwn trwy Grist, wedi ei ddarparu i ddynion yn feirw mewn camweddau a phechodau fel y gallent ei gael ef; ei fod ef wedi dyfod fel y gallent gael gafael arno a'i feddu,—yr hyn sydd wirionedd gwerthfawr a bendigedig iawn; eithr mae yr

iaith yn unol â thystiolaethau pendant eraill yr Ysgrythyrau, un o'r rhai a geir cyn diwedd y bennod hon: "A minnau wyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol;" ac â rhediad unffurf gwirionedd ysbrydoledig, yn myned ymhellach, ac yn sicrhâu y cyfraniad gweithredol o hono i rywrai ag y mae yn hyfyd meddwl y byddant yn y diwedd yn dyrfa fawr nas gall neb ei rhifo, allan o bob llwyth, ac iaith, a phobl, a chenedl. Ymddengys ei fod ef wedi dyfod, nid yn unig i ddwyn bywyd o hyd cyrhaedd i fyd yn trengu yn ei anwiredd, fel y mae yn bosibl iddynt ei gael, ac yn gyfleus iddynt ei gael os dewisant; "fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol;" eithr fel y byddai i rywrai ei gael i'w rhan,—cyfranogi o hono mewn gweithred a gwirionedd,—dyfod i feddiant a mwynhâd llawn o hono yn bersonol, "*fel y caent fywyd,*" &c. Y mae pob sicrwydd am hyn. "A minnau, os dyrchefir fi oddiar y ddaear, a dynaf bawb ataf fy hun." "O lafur ei enaid y gwel ac y diwellir." "Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnhâ lawer trwy ei wybodaeth, canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt." Gan iddo ef, yr hwn yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd, dywallt ei enaid i farwolaeth, y mae bywyd yn dyfod yn rhinwedd hyn oddiwrtho ef mewn canlyniad i laddedigion pechod a marwolaeth, i fyned â hwy trwodd o farwolaeth i fywyd; iddynt fyw byth ger bron Duw, a thuag ato,—i'w hadgyfodi i fuchedd cyfiawnder,—buchedd Duw drachefn, y fforffetiwyd ac yr ymddyeithrwyd iddi trwy y cwymp. I ddilyn y gymhariaeth, neu y gyfatebiaeth, daeth yr Ail Berson yn y Duwdod o fynwes y Tad i'n byd ni; yn nghyflawnder yr amser, ymunodd â'n natur ni, daeth i'n sefyllfa isel ni o fôd,—gwnaethpwyd ef yn gnawd; ymwelodd fel hyn â thiriogaeth angeu ysbrydol yn gystal âg angeu naturiol, gwlad y carchar, lle y gorweddem dan ddedfryd marwolaeth, ac i ganol gwlad y beddau, i agor dorau y carchar caeth, a rhyddhâu yn gyfiawn o afael collfarn marwolaeth dragywyddol, a'n codi i ffafr y Penllywydd mawr, ac i beri i fywyd Dwyfol dreiddio trwy yr holl olygfa resynol o ddadfeiliad, a dadgysodiad llygredigaeth a marwolaeth, yr oll yn un crynswth o anrhaith echrydus a thrueni dybryd, i'w adferu i drefn gyflunedig, ac i brydferthwch perffaith, yn olygfa o ymfoddloniad ac ymhyfrydiad y Duwdod ei hun, a phob bodau rhinweddol, yn lle bod yn hyll, gwrthwynebus, a phoenus. Mae ein byd ni wedi myned trwy y cwymp yn debyg i'r dyffryn hwnw a welodd Ezeciel gynt, "yn llawn esgyrn, ac wele sychion iawn oeddynt;" ond ni orphwys yr Hwn a ddaeth i'w plith fel y caent fywyd, nes y delo asgwrn at ei asgwrn, a chyfodi giau a chnawd arnynt, a gwisgo croen am danynt, a dyfod anadl ynddynt, "fel y byddant byw, a sefyll ar eu traed yn llu mawr iawn." Nid dyfod a wnaeth efe i wneyd prawf i weled pa beth a allai wneuthur. Y mae dynion yn fynych yn gorfod gwneyd hyny,—treio eu llaw, fel y dywedir, i weled pa beth allant wneuthur, heb wybod a allant gyflawni yr hyn sydd yn eu golwg ac a garent. Mae ammheuaeth ac ansicrwydd mawr a allant ddyfod i ben â'r hyn y cynnygiant ato yn deg. Gall y cwbl droi allan yn fethiant. Ond nid ar antur felly y daeth Iesu Grist i'r byd. Teimlai ef yn sicr nad elai ei waith yn ofer, eithr y byddai yn sicr o ateb y dyben yn ddiffael, a chyrhaedd yr amcan yn helaeth,—sylweddolid ef yn llawn. Onid oes rhywbeth rhyfedd, yn gystal â grasol yn ei eiriau yma, fel y sylwyd ar y dechre? Dyma efe yn ddyn tlawd o ben uchaf y wlad, yn cael ei erlid gan gasineb a chenfigen traws y genedl na orphwysai nes ei ddienyddio trwy groeshoeliad gerllaw Jerusalem, a hyny heb fod yn hir bellach, eto yn dywedyd wrthynt y deuai bywyd i'w bobl trwyddo. Rhoddir fi i farwolaeth mewn trefn i hyn, er mai fi sydd yn dodi fy einioes i lawr o honof fy hun; a chan sicred â hyny, rhêd bywyd o dyllau yr hoelion yn fy nwylaw a'm traed, —rhêd cariad fy nghalon yn fy aberthu fy hun er eu mwyn, trwy fy ngwaed, yn ddiluw o fywyd dros wyneb y ddaear i gyd; cyrhaedda yr ynysoedd mân, gorchuddia y cyfandiroedd mawrion, trŷ yn ol yn effeithiol effeithiau dinystriol pechod a marwolaeth, a dilea ei olion adgas mor llwyr oddiar wyneb y bellen hon fel pe buasai heb ei goresgyn erioed, a lleinw hi â bywyd o'r fath uchaf teilwng o'r enw; ïe, lleinw y nefoedd ei hun â'r bywyd hwn am dragywyddoldeb. Adfera ein natur o afael marwolaeth o bob math; "myfi a'i hadgyfodaf ef y dydd diweddaf," pan lyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd yn y corff gwael hwn, ac y bydd yr ysbryd yn fywyd yn ei afael am byth. A bydd y greadigaeth wedi ei gweddnewid ganddo, "nefoedd newydd a daear newydd," lle y bydd cyfiawnder yn trigo, ac ni bydd marwolaeth mwyach. "Ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." "A'r rhai hyn a ânt i fywyd tragywyddol." Onid yw yr un cyfiawnder tragywyddol ag oedd yn gofyn ei einioes ef fel Machnïydd yn aberth ac yn iawn am bechod mewn trefn i'w faddeu yn ddiogel, a'i faeddu yn sicr, yn sicrhâu nad ä, ac nad all, y fath gariad a'r fath haeddiant anfeidrol fyned yn ofer, eithr y dyry fywyd i ryw rai yn ddiffael? "*Fel y caent fywyd.*" Y mae tyrfa fawr

anesrif i gael bywyd yn ddigon sicr. Pe byddai y rhwystrau ar y ffordd i hyn yn fwy nag ydynt, a'r arwyddion croes i hyn yn fwy nag ydynt o'n cwmpas a thrwy wledydd y byd, ni phalla efe ac ni ddigalona hyd oni ymlidia ymaith farwolaeth ysbrydol o'n natur yn llwyr, a pheri i fywyd Duw dreiddio trwy yr oll. Diwellir ef â hyn am lafur ei enaid. Awn i'r cyfarfod gweddi cenadol y nos Lun cyntaf yn y mis yn galonog, a chanwn yr hen bennill a'i gyffelyb "mewn llawn hyder ffydd," "a gwir ddiogel obaith,"—

"Dros y bryniau tywyll niwlog
Yn dawel, f' enaid, edrych draw,
Ar addewidion sydd i esgor
Ar ryw ddyddiau braf gerllaw."

Dygir y bywyd hwn, nid yn unig o hyd gafael i ddynion mewn trefn addas, ac yn nghynnygiad a chyhoeddiad yr efengyl o hono i bawb a'i clyw, fel y gallont ei gael, eithr dygir dynion i'w afael, a diogelir eu parhâd yn ei afael. "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." "Y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig." Oddiar hyn ni a welwn nad yr efengyl i ddynion yn gyffredinol yn y cyhoeddiad o honi sydd yma. Mae hyny yn bod—dyweyd wrth bawb a'i clyw fod Crist wedi dyfod fel y gallent gael bywyd trwyddo: "A hon yw y dystiolaeth"—tystiolaeth yr efengyl—"roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol; a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef;" ac y gellir ei gael trwy gredu ynddo—ei dderbyn ef. "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab, y mae ganddo fywyd tragywyddol." "Yr hwn y mae y Mab ganddo y mae y bywyd ganddo." Eithr newyddion da o lawenydd mawr i deulu Duw, neu am danynt ydyw, y cânt fywyd, mewn canlyniad i'w ddyfodiad ef, ei gnawdoliaeth a'i angeu drud.

Hefyd, "Ac y caent ef yn *helaethach.*" Yn ol iaith y Gramadeg, mae y gair hwn yn y radd gymharol, ac yn rhoddi ar ddeall ei fod yn cael ei ddal ar gyfer rhywbeth y mae yn helaethach nag ef. Oddiar hyn, yr ydys yn hollol naturiol wedi ymofyn gyda golwg arno, Helaethach na pheth? ac y mae amrywiol atebion wedi cael eu rhoddi; megys, yn gyntaf, helaethach na bywyd Adda yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd creadigol yn ngardd Eden. Yr oedd efe wedi ei gynnysgaethu â bywyd uchel heblaw bywyd anianyddol y corff, ac hyd yn nôd bywyd rhesymol, wedi i Dduw anadlu yn ei ffroenau ef anadl einioes, ac yr aeth yn enaid byw. Yn y sefyllfa wynfydedig hono yr oedd yn berchen ar fywyd ysbrydol. Y mae delw Duw, ar yr hon y crewyd ef, yn golygu hyn. Ac yr oedd hwnw yn fywyd helaeth yn gystal ag uchel. Cynnwysai fywyd o gyfiawnhâd, o heddwch â Duw, o sancteiddrwydd, o gariad ato, cyfeillgarwch a chymdeithas âg ef. Pa mor helaeth ydoedd nis gellir dywedyd; eithr y mae yn ddiammheu fod y bywyd hwn trwy Grist yn helaethach nag ef; rhaid ei fod, er nas gellir dywedyd pa faint yn helaethach ydyw. Yr oedd Adda yn berffaith gyfiawn, eithr cyfiawnder creadigol ydoedd, a chyfiawnder dynoliaeth yn unig; ac y mae cyfiawnder y credadyn yn helaethach na hyn, gan ei fod yn gyfiawnder Duw yn nghyfiawnder Crist. Yr oedd gan Adda fywyd o sancteiddrwydd perffaith yn ei greadigaeth, eithr nacäol ydoedd i fesur mawr, a chreedig; tra y mae credinwyr, trwy eu hundeb â Christ, yn cael eu cyfodi i uwch graddau o sancteiddrwydd a mwy o debygolrwydd i Dduw: "Yr un ffurf â delw ei Fab ef." Yr oedd Adda yn mwynhâu bywyd o gymdeithas â Duw yn ol helaethrwydd y dadguddiad oedd ganddo o hono; oblegid y mae graddau o ddadguddiad o Dduw yn rhoddi terfynau i raddau y mwynhâd o hono. A chan ein bod ni dan yr efengyl wedi cael dadguddiad gymaint yn helaethach o Dduw yn ngwyneb Iesu Grist, mae cymdeithas y saint yn helaethach yn gyfatebol. Hefyd, mae y gogoniant ddyry Iesu Grist i'w bobl yn helaethach na'r gogoniant y gosodwyd Adda ynddo. Bydd pethau pwysig yn eu gogoniant hwy, nad oedd yn ei un ef, trwy eu hundeb a'u perthynas â Mab Duw, yn ei wneyd yn helaethach, yn fwy gwynfydedig a bendigedig.

Yn nesaf, helaethach, meddir, na bywyd y saint dan yr hen oruchwyliaeth. Cyfranogent hwy o fywyd ysbrydol dan bob goruchwyliaeth, ond nid i'r un graddau, os o'r un natur yn hollol, â ni dan yr efengyl. Nid oedd bywyd duwiol a nefol ffyddloniaid yr hen destament, o ran y dadguddiad o hono ac o ran y mwynhâd o hono, mor helaeth â chredinwyr dan yr efengyl, wedi i Grist ddyfod a gorphen ein hiachawdwriaeth. Gan yr ymddibynai gradd y bywyd, os nad ei natur, ar natur neu radd y dadguddiad roddid o Dduw a'i drefn i achub, nis gallai yn ganlynol gael ei fwynhâu mor helaeth ganddynt hwy cyn ei ddyfodiad ef ag ar ol hyny, yn ol geiriau a gawn yn flaenorol i hyn: "Canys eto nid oedd yr Ysbryd wedi ei roddi, am na ogoneddasid yr Iesu eto."

Drachefn, yr oedd yn helaethach na'r bywyd yr oedd y gan-Gristion a fu o'i flaen Ef yn ei addaw i'r genedl Iuddewig yn gyffredinol. Yr oeddynt hwy yn addaw bywyd o ryddid oddiwrth iau estronol annyoddefol y Rhufeiniaid, a rhoddi iddynt oruchafiaeth ar y ddaear; ond daeth Crist fel y cai ei bobl fywyd o ryddid oddiwrth bechod a Satan, ac o bob caethiwed, ac o afaelion pob gelyn, a'u dwyn gyrff ac en-

eidiau i gyflawn a thragywyddol ryddid, a theyrnasu mewn bywyd trwyddo a chydag ef.

Yn awr, y mae hyn oll yn wir ei wala, yn yr ystyr fanylaf a helaethaf— ei fod yn helaethach na'r bywyd oedd gan gynrychiolydd a chyndad dynolryw ar y cyntaf, ac na'r bywyd oedd gan rai rhagorol y ddaear drwy yr oesau yn flaenorol i'w ddyfodiad Ef yn y cnawd; ac na'r un a addawai y gau-Gristiau i'r genedl; er ei fod yn fwy nag yn ammheus ai dyma oedd mewn golwg gan y Gwaredwr pan lefarodd y geiriau hyn. Fe allai fod yr iaith yn goddef hyn yn dda, heb wneyd unrhyw drais â hi, ond peth arall yw a ydyw yn golygu hyn.

Heblaw hyn, *helaethach na bywyd*, meddir; ac y mae hyn yn ddynesiad agosach at y meddwl. Gall y troseddwr euog, condemniedig i golli ei fywyd, gael ei arbed; eithr y mae yn cael ei alltudio o'i wlad am ei oes i galedwaith, neu ei gadw yn y carchar hyd ei farw; y mae yn cael ei fywyd, a braidd ddim ond ei fywyd —yn aros mewn cystudd a thrueni, yn ddiymgeledd, yn ddigysur, a drwg ei gyflwr. Ond daeth Mab Duw i'n byd ni fel y cai pechaduriaid condemniedig fywyd, ac y caent yn helaethach na bywyd; daeth fel y symudid ymaith y gollfarn trwy faddeuant, ac y caent wên a chofleidiad y Tywysog, ffafr a chymdeithas y Brenin. Y maent, nid yn unig yn cael myned yn rhydd ac yn dianc, eithr coronir hwynt â choron y bywyd; gwneir hwy yn freninoedd ac yn offeiriaid i Dduw a'i Dad ef. Cânt eu meddyginiaethu a'u hiachâu oddiwrth eu holl glefydau a'u clwyfau ysbrydol, a'u porthi a'u diodi; cânt bob peth anghenrheidiol tuag at gynnaliaeth a chysur bywyd. Rhoddir ychwaneg iddynt na'u bywyd yn brin o beryglon mawrion, ac o grafangau a safn angeu, pan ofnent ei bod drosodd arnynt, eithr daioni helaethach. Fel Joseph, cafodd ef ei fywyd o'r pydew, er i'w frodyr creulawn, gwaedlyd, benderfynu ei ladd ef, a thrachefn o'r carchar yn yr Aipht; ond ni adawyd ef i ddihoeni mewn anghen; cafodd yn helaethach na bywyd trwy ei osod yn llywydd ar holl wlad yr Aipht, a chael modrwy y brenin ar ei law, a'i wisgo mewn gwisgoedd sidan, a chadwyn aur am ei wddf, a marchogaeth yn yr ail gerbyd, a llefain o'i flaen, Abrec, ac yn y deyrngadair yn unig yr oedd y brenin yn fwy nag ef. Cafodd Moses ei fywyd, er gorfod ei ddodi yn y cawell llafrwyn ar lân yr afon; a chafodd yn helaethach na bywyd: cafodd ei roddi i'w fagu, a'i ddwyn i fyny gan ei fam naturiol ei hun, a'i wneyd yn fab merch Pharaoh, a'i addysgu yn holl ddoethineb yr Aipht; a mwy na hyny—cafodd yr anrhydedd o fod yn waredwr i'w genedl o'r caethiwed yno, a'i wneyd yn ffyddlawn ar holl dŷ Dduw. Cafodd plant Israel fwy na'u bywydau trwyddo. Cafodd Dafydd ei fywyd o beryglon mawrion, y rhai a fygythient wneuthur pen am dano: cafodd ei fywyd o balfau y llew a chrafangau yr arth, a rhag i Goliath ei ladd, ac o ddwylaw Saul, er cymaint a erlidiodd arno, gan geisio ei ladd; cafodd ef dori pen y cawr â'i gleddyf ei hun, a'i eneinio a'i goroni yn frenin ar holl Israel, ac eistedd ar y deyrngadair i deyrnasu arnynt.

Eithr nid yw hyn oll yn rhoddi y meddwl a osodir allan yma yn gyflawn, er ei fod yn dyfod yn agos iawn ato. Nid oes yma, mae yn debyg, gymhariaeth âg unrhyw fywyd arall, neu âg unrhyw ddadblygiad blaenorol o hono ef ei hun; eithr dulliaith Hebreig ydyw—eu ffordd neillduol hwy o ddywedyd; cyflawnder, digon, a digon o hono; helaethrwydd mawr—yr helaethrwydd mwyaf o hono. Y mae hyn yn wir am dano yn ei ddechreuad cyntaf ynglŷn â'r rhai sydd yn ei gael. Pa fodd y mae dangos hyn oreu? A ellir gwneyd hyny yn well na thrwy ddammeg y mab afradlawn? Nid wyf yn gweled y gellir. Gadewch i ni fyned at ei diwedd, pan y mae y bachgen drwg yn dychwelyd gartref. "A phan oedd efe eto ymhell, ei dad a'i canfu." Tarawodd ef mai efe ydoedd, er yr ammheuai yn fawr gan faint y cyfnewidiad a'r gwahaniaeth yn ei olwg a'i ddiwyg. Ai efe ydyw? a all mai efe ydyw, yn y llun hwn? Rhyfedd! O'r fath gyfnewidiad chwith sydd ynddo! Eithr efe ei hun ydyw. Ië, dyma fe yn dychwelyd gartref o'r diwedd. Pa fodd y teimla y tad yn ngwyneb hyn? Pa beth a wna? A dry efe ei gefn neu ei ochr tuag ato, neu beidio cymeryd arno ei fod yn ei weled, a gadael iddo wthio ymlaen ar ei ffordd, gan ddywedyd ynddo ei hun ac yn iaith ei ymddygiad, Ni wnaf fi—nis gallaf fi, ddangos dim gwyneb iddo a'i gefnogi yn y gradd lleiaf, wedi y fath ymddygiad hollol annheilwng a gwael; rhyngddo ef â gwthio ymlaen tua'r tŷ, os oes digon o ddigywilydd-dra ynddo? Na, nid rhoddi y *cold shoulder* fel hyn a wnaeth, ond "rhedodd i'w gyfarfod, syrthiodd ar ei wddf, ac a'i cusanodd." Cafodd y croesawiad goreu. Nid, fe gafodd fyned i'r gegin, a'r forwyn roddi iddo grystyn sych i ddechre tori ei newyn; eithr, "Lleddwch iddo y llo pasgedig." Cafodd wledd; bu yno "ganu a dawnsio." "Efe a arbed yn helaeth." Eglurhâd ar fywyd yn helaethach yw hyn oll. Dyma fel y gwneir i'r gŵr y mae gras y nefoedd yn ei roddi ef iddo.

Y mae yn dechre yn dda; eithr beth yw ei hanes ddilynol? O helaethach o hyd, am byth ydyw.

Gadewch i ni gael gair ymhellach am dano yn ystod bywyd ei berchen yn y fuchedd hon, gan y gallwn wneuthur rhywbeth o hyn tra yr erys yr ochr hyn, ac nad amlygwyd eto pa beth a fyddant. Pa fodd y gellir dangos hyn eto yn oreu? A ellir gwneuthur yn well na myned at Psalm xxiii.? Nid wyf yn gweled y gellir. Y mae yn eglurhâd tarawiadol a phwrpasol iawn o fywyd yn helaethach yn amgylchiad a phrofiad ei ddeiliaid. Nid rhyfedd fod rhywun wedi ei galw yn eos y Salmau, am ei bod yn canu yn uwch a pherseiddiach na'r lleill i gyd—y mae wedi cael y fath destun bendigedig i ganu arno. Ni chawn fyned drosti i gyd, er nad yw yn faith—dim ond chwech adnod—ac er nad allai hyny fod yn feichus. Gadewch i ni roddi ei dechre: "Yr Arglwydd yw fy mugail." Dyma *life*, ys dywedir: "Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog, &c." Gall fyned yn gyfyng arnynt, a chael blewyn cwta, prin a sych; na, cânt borfa yn drwch, a hyd eu tòr ynddo; byd da helaethwych beunydd. Yn lle myned ymlaen drosti, gadewch i ni eto gyffwrdd â'i diwedd. Mae yr olygfa yn newid tua'r diwedd: yn lle Bugail a phraidd, y mae y bugail yn nhŷ y perchen—ei balas: "Arlwyi ford ger fy mron yn ngŵydd fy ngwrthwynebwyr, &c." Nid yn ngŵydd fy nghyfeillion; buasai hyny yn dda, eithr y mae yn well fel y mae. "Dyna hwy," meddai Duw wrth ei blentyn, "o dy gwmpas yn llawn, yn ysgyrnygu eu dannedd arnat, am dy gael yn ysglyfaeth, ac yn barod i ruthro arnat; ond na hidia am danynt, cadwaf fi hwynt yn ol; cerdda di ymlaen â'r wledd; poenaf hwynt wrth dy weled di yn gwledda." Y mae ei hollddigonolrwydd yn arlwyo y ford iddynt, a hollalluogrwydd yn eu cadw yn ddiogel. "Fy phiol sydd lawn." Y mae yn anhawdd iawn genym ni roddi y blaen un amser i'r cyfieithiad yn yr iaith nesaf atom, fel y gelwir hi, o'r Bibl, ac ni raid i ni yn fynych, o drugaredd, gan fod ein cyfieithiad ni cystal; eithr rhaid i ni roddi i fyny weithiau, gan fod y Saesoneg yn rhagori, fel y mae yma: "*My cup runneth over*," —fy phiol sydd yn rhedeg drosodd—yn fwy nag yn llawn, yn methu cynnwys yr oll sydd yn cael ei arllwys iddi. A dyma fel y mae i'r llythyren weithiau gyda pherchen y bywyd yn helaethach, gan y fath helaethrwydd y mae yn fwynhâu. "Rhoddaist lawenydd mwy yn fy nghalon;" "llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." "Daioni a thrugaredd yn ddiau a'm canlynant holl ddyddiau fy mywyd." Dyma gwmpeini y mae y bywyd yn helaethach yn ei fforddio! Daioni ar y naill law, trugaredd ar y llall, neu ddaioni yn myned o'r blaen, a thrugaredd yn dyfod ar ol. Ni fydd arnynt daro byth na bydd daioni a thrugaredd yn y golwg ac wrth law i amddiffyn ac ymgeleddu a chynnorthwyo. Dyma warcheidwaid bendigedig! Ond dyna hi wedi myned i'r pen o'r diwedd, hyd yn nôd arnynt hwy. Oni sonir am "holl ddyddiau fy mywyd?" Gwneir, mae'n wir; ond nid ydyw wedi myned i'r pen arnynt ychwaith. Gwrandewch yr hyn sydd yn canlyn: mae ei berchen yn sefyll yn gadarn ar derfyn holl ddyddiau ei fywyd, ac y mae ei ffydd yn taflu bwa drosodd i'r nefoedd yr ochr draw, ac y mae yn cerdded yn hyf ar hyd y bont gan ganu,— "A phreswyliaf yn nhŷ yr Arglwydd yn dragywydd." "Dangosi i mi lwybr bywyd; digonolrwydd llawenydd sydd ger dy fron, ac ar dy ddeheulaw y mae digrifwch yn dragywydd." Dyry y bywyd yn helaethach hwn fuddugoliaeth i ni yn angeu, ac adgyfodiad i fuchedd dragywyddol, lle y ceir ef yn helaethach mewn anfarwoldeb. O am fod yn ei afael!

---

## DUW YN GADAEL YR EGLWYS.

*Gan y Parch.* GEORGE JONES, *Nerquis.*

ESAIAH liv. 7: "Dros enyd fechan y'th adewais."

MAE y geiriau hyn, fel y golofn a arweiniai y genedl o'r Aipht i Ganaan, yn meddu ar ddwy ochr—y naill yn dywyll, a'r llall yn oleu. Yn yr ochr dywell, Duw sydd yna wedi gadael ei eglwys. Mae yn hawddach i'r eglwys wneyd heb bobpeth nag heb Dduw. Nis gall wneyd heb Dduw mwy nag y gall y ddaear wneyd heb wres a goleuni yr haul. Dywedir pe byddai i wres a goleuni yr haul gael eu hattal oddiwrth y ddaear am wyth awr a deugain, y gwywai pob glaswelltyn, ac y rhewai pob creadur byw o'i mewn i farwolaeth. Pa fodd bynag am hyny, nis gall yr eglwys wneyd heb Dduw. Efe ydyw ei bywyd, ei goleuni, ei phobpeth; ac eto yn y testun, dyma Dduw, unig haul a bywyd ei bobl, wedi eu gadael. Ond y mae i'r testun hefyd ei ochr oleu. "*Dros enyd fechan*" y mae efe yn gadael ei eglwys; ac y mae yn addaw ei chasglu â mawr drugareddau.

Heb aros i geisio penderfynu beth yw ystyr neillduol neu gyfeiriad cyntaf yr adnod, ni a ymdrechwn alw sylw at y gwirionedd amlwg a gynnwysir ynddi, sef y ffaith bwysig a galarus am Dduw yn gadael yr eglwys.

Gosodir allan sefyllfa yr eglwys gan y prophwyd, yn y testun a'r cyd-destynau, trwy gymhariaeth o wraig wrthodedig, wedi ei dyweddïo yn ei hieuenctyd, ond

o herwydd ei hanffyddlondeb yn cael ei gadael. Wrth edrych ar yr eglwys yn ngoleuni'r gymhariaeth, ni a welwn dri pheth yn cydgyfarfod ynddi wedi i Dduw ei gadael ag sydd yn dangos mawredd ei thrueni: mae yn *dlawd*, yn *ddiamddiffyn*, ac yn *ddigynnydd*.

*Mae yr eglwys, wedi i Dduw ei gadael, yn dlawd.* Y cyflwr ymha un y cafodd Duw hi ynddo ar y cyntaf ydoedd yn dlawd, yn noeth, ac yn marw o newyn; ac nid hyny yn unig, ond yr oedd hefyd wedi syrthio i ddyled fawr yn ngwyneb y ddeddf, ac heb obaith i dalu hatling o'i dyled ac ymddyrchafu o'i thlodi byth o'i rhan ei hunan. Ond carodd Duw hi yn ei thlodi a'i gwarth, ac er ei holl ddyled, yn gymaint fel y penderfynodd ei dyweddio yn wraig iddo ei hunan, ac wrth hyny ymgymerodd â'i holl ddyled. Aeth ei dyled hi yn ddyled iddo ef, a'i gyfoeth ef yn gyfoeth iddi hithau. Yn rhinwedd ei pherthynas â Duw fel ei phriod, mae yn cael modd i ymlanhâu ac ymdrwsio, ei gwarth yn cael ei symud, ac y mae yn dyfod i hawl o'i gyfoeth ef, ynghyd a holl ragorfreintiau ei dŷ. Mae Duw oll yn oll yn dyfod yn eiddo iddi. Ond pan y mae ei Duw, yn herwydd ei hanffyddlondeb iddo, yn ei gwrthod a'i gadael, mae ei gyfoeth yn cael ei attal oddiwrthi, ac yn ganlynol mae hi yn syrthio i dlodi a thrueni. Ac y mae yn bosibl fod yr eglwys wedi ei gadael, ac yn ngafael â thlodi ysbrydol, heb fod yn ymwybodol o'i sefyllfa. Yn wir, mae fod unrhyw eglwys mewn agwedd ddifraw a difater, gan synio y goreu am dani ei hun, ac yn ymdeimlo fel ar ben ei digon, yn myned yn bell i brofi fod Duw wedi ei gadael, a'i bod mewn gwirionedd yn dlawd ac yn resynol. Mae eglwys Laodicea yn esiampl nodedig o hyn. Dywedai am dani ei hun, "Goludog wyf, ac mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisieu dim." Ond medd y Tyst cywir a ffyddlawn am dani, "Ni wyddost dy fod yn druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth." Yn ei golwg ei hun yr oedd yn meddu pobpeth, heb arni eisieu dim; ond yn ngolwg yr Hwn oedd yn ei hadnabod yn berffaith, yr oedd pump o elfenau yn cydgyfarfod ynddi ag oedd yn gwneyd ei chyflwr y fath fwyaf truenus. Ein perygl ninnau fel enwad yn y blynyddoedd hyn, gan faint ein manteision allanol, ydyw myned i deimlo yn debyg i eglwys Laodicea. Yn amser ein tadau, yr oedd yr eglwys yn ein mysg yn gorfod gweithio ei ffordd ymlaen er gwaethaf anfanteision. Y pryd hyny addolai mewn hen fythynod gwael ac ysguboriau diaddurn; yr oedd cyfoethogion a mawrion y wlad yn edrych i lawr tuag ati gyda dirmyg a diystyrwch; a'r pregethwyr, oddieithr ychydig eithriadau, ar eu goreu yn ymrwyfo yn erbyn tlodi, ac heb nemawr gymhwysder i'r weinidogaeth ond cariad at Grist ac awydd i achub eneidiau; ac eto yr oedd yr eglwys y pryd hwnw yn llwyddo yn ngwyneb ei holl anfanteision. Ond yn awr, mae ganddi gapelau drudfawr ac addurniadol, cyfoethogion yn agor eu trysorau yn ewyllysgar, ac yn cyfansoddi rhan bwysig o honi, a'i gweinidogion hefyd, gan mwyaf, wedi cael manteision addysg yn helaeth. Ond er hyn oll, priodol fyddai gofyn, Ymha le y mae ein llwyddiant cyfatebol? A ydym yn peidio ymffrostio mewn dysg, a doniau, ac addurniadau allanol, fel ag i bechu Duw allan o'r eglwys? Byddai yn well gorfod dychwelyd yn ol i'r hen ysguboriau, a chael Duw ynddynt, na chael temlau o fynor a phulpudau o bres, a'r rhai hyny wedi eu haddurno âg aur, gyda Duw wedi ein gadael. Mae gan Eglwys Rhufain y temlau godidocaf, colegau enwog, cyfoeth diderfyn, a'i haelodau i'w rhifo wrth y cannoedd o filiynau; ond er y cwbl, y mae Duw wedi ei gadael. Felly hefyd mae yn bosibl i ninnau fel cyfundeb ymgyfoethogi oddiallan, ac eto fod Duw wedi ein gadael, ac mewn canlyniad yn ngafael y tlodi dyfnaf mewn ystyr ysbrydol.

*Mae yr eglwys, wedi i Dduw ei gadael, yn ddiamddiffyn.* Duw ydyw unig amddiffyn yr eglwys. Efe ydyw ei hamddiffyn *yn ngwyneb ei gelynion*. Mae ei gelynion yn lliosog, yn gryfion, ac yn gyfrwys. Mae breninoedd y ddaear wedi bod yn ymosod, y penaethiaid wedi bod yn ymgynghori ynghyd yn ei herbyn, awdurdodau gwladol wedi bod yn ei bygwth, gorseddau cryfion wedi bod yn gosod eu dylanwad yn ei herbyn; carcharau, tân, ffagodau, a phob math o'r cosbedigaethau creulonaf a allasai dyn a chythraul ynghyd eu dyfeisio, wedi eu harfer er ceisio attal ei llwyddiant. Mae byd ac uffern wedi bod yn chwythu bygythion a chelanedd yn ei herbyn, gan ddyweyd yn eu hiaith, "Ymaith â Christionogaeth allan o'r byd." Ac y mae fod gan Dduw eglwys o gwbl heddyw ar y ddaear, wedi y fath ruthriadau ac ymosodiadau creulawn a wnaed arni gan ei gelynion, yn gymaint gwyrth ag oedd dwyn Cristionogaeth i fôd ar y cyntaf. Yr unig reswm paham na buasai eglwys Dduw wedi ei hysgubo ymaith fel deilen ar flaen llifeiriant cynddaredd ei gelynion ydyw, fod yr amddiffyn Dwyfol wedi bod drosti. Duw sydd yn fur o dân o'i hamgylch yn ngwyneb ei gelynion.

Efe hefyd ydyw amddiffyn yr eglwys *yn ngwyneb cyfeiliornadau*. Meddylier am Babyddiaeth, Puseyaeth, Antinomiaeth, Undodiaeth, a'r cyffelyb—cyfeiliornadau yw'r cwbl sydd wedi eu magu o fewn

eglwys Crist. Ac hyd yn nôd ymhlith y dosbarthiadau goreu, a mwyaf uniongred a duwiolfrydig o honi, mae ymrafaelion ac ymraniadau yn codi beunydd oddiar anghydwelediad gyda golwg ar ei hathrawiaethau, ei threfniadau, a'i ffurflywodraeth. Wrth feddwl fel hyn am y fath gyfeiliornadau sydd wedi codi oddi mewn i furiau'r eglwys ei hun, mae yn syndod na buasai ei gwrthgloddiau cryfaf wedi eu chwalu, ei muriau cadarnaf wedi eu bylchu, ïe, a hithau wedi ei chladdu gan ei chyfeiliornadau ei hunan. Ac oni buasai fod amddiffyn Duw wedi bod drosti, hyny a fuasai ei thynged.

Duw eto ydyw amddiffyn yr eglwys *yn ngwyneb pechod o bob math.* Mae yr eglwys yn byw yn nghanol byd llawn o bechod, ac y mae pechod hyd yn nôd yn yr eglwys ei hunan. Ac y mae gan bechod lawer o fantais i ddylanwadu arni. Bu hi unwaith yn meddiant a than lywodraeth pechod; ac er ei gwaredu o'i feddiant, a'i symud i deyrnas anwyl Fab Duw, mae eto yn amgylchynedig gan bechod, a hwnw mewn amryw ystyriaethau, fel y pren gwybodaeth da a drwg, yn ddeniadol i'r llygaid ac yn felus i'r archwaeth. Mae pechod yn gweithio i'r golwg yn ei ffasiynau, ei harferion, ïe, ac yn ei chyflawniadau mwyaf cysegredig. Pan yn edrych y tu allan iddi ei hun, mae yn canfod pechod wedi ymarfogi a threfnu ei fyddinoedd yn ei herbyn, ac yn ymosod yn greulawn arni. Os try wedi hyny i edrych i mewn iddi ei hun, cyferfydd â phechod yno wedi codi ei gastellau, ac yn ymladd am yr orsedd—yn oeri ei chariad, difa ei grasusau, a chreu anghydfod ac ymraniadau ynddi. Ac oni buasai fod Duw yn ei ras wedi perffeithio ei nerth yn ei gwendid er ei galluogi i wrthsefyll pechod yn ei wahanol ymosodiadau, wedi ei gorchfygu y buasai—yr amddiffynfeydd wedi ei rhoddi i fyny, a dinas y Duw byw wedi ei meddiannu yn gwbl gan bechod. Ac yn awr, os bydd i Dduw adael ei eglwys a thynu ei amddiffyn oddiwrthi, O y fath drueni a'i goddiweddai! Orochlefai ei gelynion mewn buddugoliaeth arni, collid y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu allan o honi, a byddai cyn pen nemawr yn feithrinfa i bob llygredigaeth.

Ymhellach, *mae yr eglwys wedi i Dduw ei gadael yn ddigynnydd.* Nis gall un ychwanegiad fod yn wir gynnydd i'r eglwys ond rhai wedi eu haileni; ac y mae aileni yn beth anmhosibl heb Dduw. Gall moddion aileni fod yn aros ynddi, yr holl ordinhadau yn cael eu gweinyddu gyda manylrwydd, gair Duw yn cael ei bregethu yn gyson bob Sabboth, y gwirioneddau pwysig am farw, barn, a byd arall yn cael eu pregethu gyda'r fath nerth ac awdurdod nes byddo'r gwrandawyr yn cael eu gwefreiddio, neu teimlo ar y pryd fel Agrippa o fewn ychydig i'w hennill yn gristionogion; ond er y cwbl, os bydd Duw wedi ei gadael, ni bydd un pechadur yn cael ei aileni. Pe byddai dysgeidiaeth a dwfndreiddgarwch Paul, hynawsedd a lledneisrwydd Ioan y dysgybl anwyl, zel a duwiolfrydedd Pedr, hyawdledd ac athrylith Apolos, a gonestrwydd a thanbeidrwydd Ioan Fedyddiwr—wedi cydgyfarfod yn yr un person er ei wneyd yn weinidog cymhwys y testament newydd, ac i'r un hwnw gael ei osod yn weinidog ar yr eglwys ag y mae Duw wedi ei gadael, ni byddai efe er y cwbl ond fel efydd yn seinio, neu symbal yn tincian. Beth ydyw hyawdledd dyn, ïe, beth fyddai nerth ac hyawdledd angel, i feddwl gwneyd i'r marw glywed? Mae aileni yn cynnwys peth mor fawr a gwneyd y marw yn fyw: ydyw, a rhywbeth mwy. Mae bywyd yn cyfarfod â gwrthwynebiadau yn y pechadur i'w gorchfygu nas gall marwolaeth ynddi ei hunan eu cynnwys. Mae anallu y pechadur i fyw yn dduwiol yn allu ynddo i fyw yn annuwiol. Mae ei anallu i garu yn allu o elyniaeth tuag at Dduw. Mae ei anallu i gydymffurfio â chyfraith Duw yn allu i wrthryfela yn erbyn Duw; ac y mae yn rhaid gorchfygu a lladd yr elyniaeth, a'r duedd ansanctaidd sydd yn nghalon y pechadur, cyn y gellir gweithredu bywyd o gariad a sancteiddrwydd ynddo. Mae aileni fel hyn yn beth mor fawr â chreu. Yr un BYDDED hollalluog a ddygodd y bydoedd i fod ar y cyntaf, yn unig a all greu pechadur o'r newydd yn Nghrist Iesu i weithredoedd da. Ac am hyny y foment y mae Duw yn gadael yr eglwys, mae aileni pechaduriaid yn peidio ynddi yr un foment; ac fe baid am byth oni bydd i Dduw yn ei drugaredd ddychwelyd yn ol iddi. Byddai yn well i ni i Dduw ymweled â ni trwy y newyn a'r cleddyf, a thrwy ei orchwyliaethau mwyaf llymdost, nag iddo ein gadael. Gwnaed unrhyw beth â ni, ond aroesed ei hunan gyda ni; oblegid y farn drymaf ar yr eglwys ydyw i Dduw ei gadael.

Cyn terfynu, goddefer i ni wneyd y nodiadau cymhwysiadol a ganlyn :—

*Onid oes genym yn y dyddiau presennol achos i ofni, os nad ydyw Duw wedi ein gadael, ei fod eisoes wedi pellhâu i raddau oddiwrthym?* Yn yr adfywiad mawr tuag ugain mlynedd yn ol, ac yn ddiweddarach, yr oedd yr eglwys yn effro, bywiog, a gweithgar, yn ymosod â'i holl egni ar feddwdod a phob llygredigaeth, zel a ffyddlondeb yn nodweddu ei haelodau, ei chyfarfodydd gweddïo yn afaelgar a phoblogaidd, arddeliad mawr ar y weinidogaeth, y dynion caletaf yn teimlo

hyd at golli dagrau dan y pregethau, pechaduriaid ar ddarfod am danynt yn ymofyn am le yn nhŷ yr Arglwydd y naill wythnos ar ol y llall, ymlyniad dyfal yn yr eglwys wrth yr holl ordinhadau, ymdrech mawr yn cael ei wneyd rhag colli un moddion o ras, yn enwedig y cyfarfod gweddi a'r cyfarfod eglwysig, a rhyw ysbryd myned ymlaen wedi meddiannu yr holl eglwys, a'i sancteiddrwydd yn gyfryw ag oedd yn ei gwneyd yn lle annyoddefol i'r rhagrithiwr aros ynddi. Beth oedd yn bod y pryd hyny? beth hefyd ond Duw yn agos at ei bobl? Ond erbyn heddyw, mae y bywiogrwydd a'r gweithgarwch gynt wedi eu colli, meddwdod a phechodau eraill yn cael llonyddwch i godi eu penau yn y wlad, anffyddlondeb a difaterwch yn nodweddu llïaws o'i haelodau, y cyfarfodydd gweddïo wedi myned yn anmhoblogaidd, y weinidogaeth i raddau yn aneffeithiol, y gwrandäwyr wedi durio eu talcenau yn ei herbyn, Sïon, mewn llïaws o ardaloedd, o ddechre'r flwyddyn i'w diwedd bron heb neb yn ei cheisio, parch i ordinhadau yr efengyl wedi lleihâu, dim ymdrech o gwbl, a dyweyd y lleiaf, yn cael ei wneyd rhag colli y cyfarfodydd eglwysig, a rhyw hunanoldeb, balchder, rhagfarn, a chulni ysbryd i raddau helaeth wedi meddiannu yr holl eglwys. Os nad ydyw Duw eto wedi ein llwyr adael, mae yn rhaid cydnabod ei fod wedi pellhâu i raddau mawr oddiwrthym ragor yr hyn ydoedd. Os ydyw yn ein mysg, fel yr hyderwn ei fod, rhaid addef nad ydyw yn amlwg.

Ystyriaeth arall ynglŷn â hyn sydd yn deilwng o sylw yw *mai rhyw bethau yn yr eglwys ydyw yr achos fod Duw yn pellhâu oddiwrthi.* Un o'r pethau mwyaf anhawdd o bobpeth gan Dduw ydyw gadael ei dŷ; a phan y mae yn ei adael, nid ydyw yn gwneyd hyny ar unwaith. Mae y prophwyd wrth ddarlunio'r gogoniant yn gadael y deml, yn dangos mai yn raddol y mae yn gwneyd hyny. Mae yn symud i ddechre oddiar y drugareddfa i fod ar riniog y tŷ; ac wedi aros yno am beth amser, mae yn symud i ganol y ddinas; ac yn y diwedd y mae yn myned allan o'r ddinas ac yn sefyll ar y mynydd gerllaw, i edrych a oedd neb yn galaru oblegid ei golli, ac yn barod i'w alw yn ol i'w le. Yn raddol mae Duw yn gadael ei eglwys eto. Mae i ddechre yn myned yn llai amlwg yn mhrofiad yr eglwys; ymhen ychydig mae rhywrai yn dyfod i deimlo nad oes yr un llewyrch ag y bu ar y cyfarfod gweddïo, ac yn raddol collir ei lais yn y weinidogaeth. A phob amser pan y mae Duw yn gadael yr eglwys, rhywbeth ynddi hi ei hunan sydd yn peri iddo wneyd. Pan ymadawodd y gogoniant o'r deml, yr oedd yr holl ddinas wedi ymroddi i eilunaddoliaeth. A'r un modd pan y mae Duw yn pellhâu oddiwrthym ninnau yn y dyddiau presennol, mae yn sicr mai rhywbeth ynom ni ydyw yr achos. Mae lle i ofni nad ydyw dydd yr Arglwydd yn cael y parch a ddylai genym. Meddylier gymaint ydym yn dreulio o'r dydd i siarad am y byd ac am ein hamgylchiadau, ac mor lleied o Dduw sydd yn cael lle yn ein hymddyddanion ar y ffordd ac yn y teulu gartref. Dydd i segura, gwleddа, rhodiana, darllen papyrau newyddion, a hunanymbleseru, ydyw dydd yr Arglwydd yn ngolwg llawer, ac nid dydd i addoli. A phan feddyliom y fath ddiystyrwch fel hyn a deflir ar ddydd Duw, pa ryfedd ei fod ef yn ymbellhâu oddiwrthym? Mae yn bosibl hefyd nad ydym yn parchu tŷ ac ordinhadau yr Arglwydd y modd y dylem. Gellid meddwl oddiwrth ymddygiadau llawer o grefyddwyr eu bod yn coledd y syniad mai hwy sydd yn gosod anrhydedd ar y tŷ, ac nid y tŷ arnynt hwy, ac mai o'u hochr hwy y mae'r ymostyngiad yn myned i dŷ yr Arglwydd, yn hytrach nag yn y Duw mawr yn caniatâu lle i rai mor annheilwng. Mae lle i ofni hefyd ein bod wedi myned yn bell o ran ein hysbryd oddiwrth Dduw, yn ddyeithr iddo yn y dirgel, yn ddiystyr o'i air, yn ddifater am fwynhâu ei gymdeithas, y ddysgyblaeth wedi myned yn isel, yn hawdd genym oddef y rhai drwg, a rhyw bechod neu bechodau yn cael eu coledd a'u hanwylo yn ein mysg, a thrwy hyny yn dyweyd wrth Dduw yn iaith ein hymddygiadau, "Cilia oddiwrthym."

Yr ystyriaeth olaf a nodwn yw, *Beth a allwn ni wneyd tuag at gael Duw yn ol i'r eglwys?* Yn un peth, bydded i bob un holi ei hunan. Yr oedd un Achan yn y gwersyll yn peri fod yr holl wersyll yn sefyll. Gall eto un Achan fod yn achos i Dduw bellhâu oddiwrth eglwys gyfan o'i herwydd. Gan hyny holwn ein hunain, a gwyliwn rhag fod un anwiredd yn cael ei goledd yn y galon yn achos i Dduw bellhâu oddiwrth ei eglwys.

Yr ydym hefyd i ymlanhâu a diwygio—gadael ein pechodau, bwrw oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, ac ymgysegru o'r newydd, gorff ac enaid, i wasanaethu y Duw byw. Beth bynag ydyw ein colliadau, a pha ddyledswyddau bynag yr ydym yn eu hesgeuluso, penderfynwn trwy gymhorth gras i ddiwygio yn hyny o hyn allan; ac yna bydd yn hawdd gan Dduw drugarhâu wrthym a nesâu atom.

Ond yn benaf, os ydym am gael Duw yn amlwg eto yn yr eglwys, rhaid ein cael i droi yn edifeiriol ato, ymostwng o'i flaen, cyfaddef ein pechodau ger ei fron, a gofyn iddo faddeu yr holl anwiredd. Llefw am i'r gogoniant ddychwelyd eilwaith i'w le. Trown allan gyda'r eglwys yn Llyfr y Can-

iadau i chwilio am yr Hwn sydd yn hoff gan ein henaid. Awn ar hyd heolydd ac ystrydoedd y weddi ddirgel at fynydd y beraidau tragywyddol; chwiliwn feusydd yr addewidion—awn heibio i fryn Calfaria —daliwn i'w geisio ef nes ei gael.

Nesawn ni at Dduw fel hyn, ac efe a nesâ atom ninnau. "A'r dydd hwnw y dywedir wrth Jerusalem, Nac ofna; wrth Sion, Na laesed dy ddwylaw. Yr Arglwydd dy Dduw yn dy ganol di sydd gadarn; efe a achub; efe a lawenycha ynot gan lawenydd; efe a ymlonydda yn ei gariad; efe a ymddigrifa ynot dan ganu." Ac yn wir y mae adnod ein testun yn rhoddi sail i'r eglwys lawenhâu yn nghanol dychryn. Er fod Duw wedi ei gadael ar y pryd, nid oedd wedi ei rhoddi i fyny; yr oedd yn meddwl dychwelyd yn ol wrth ei gadael gyntaf. Dros enyd fechan y mae yn ei gadael, ond addawa ei chasglu â mawr drugareddau.

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

### ATHRAWIAETH ETHOLEDIGAETH.

*Gan y Parch.* J. S. SPENCER, D.D., *New York.*

*(Parhâd o tu dalen* 18.)

WRTH yr hyn a ddywedaswn, yr oedd efe yn ymddangos fel wedi dyrysu yn fawr ac yn cywilyddio. Yr oedd yn aros yn hollol ddystaw; a gadewais ef i'w ddystawrwydd cyhyd ag y gallwn gyda moesgarwch. Yna dywedais wrtho mewn modd araf a thyner, "Mae yn amlwg, gyfaill anwyl, nad ydych wedi sefydlu eich meddwl ar un *system* o gred nac ymarferiad. Nid ydych yn gwybod pa un a ydych yn credu mewn rhagluniaethiad ai peidio. Mae eich meddyliau mewn dyryswch, ac yn anghyson â'u gilydd; ac y mae yn dda genyf i chwi ddyfod yma yn awr. Mae yn ddrwg genyf am eich dyryswch; ond chwi a ddeuwch allan o hono. Yr wyf yn eich cynghori i adael yr athrawiaeth o ragluniaethiad yn llonydd am yr amser presennol, os medrwch. Mae genych ddyledswyddau pwysicach nag astudio hyny ar hyn o bryd. Os gellwch adael y pwnc yma heibio yn bresennol, a cheisio heddwch â Duw, chwi a ymddygwch yn llawer doethach. Un o ddyfnion ddirgeledigaethau Duw ydyw; ac ni byddwch yn debyg o gael eich syniadau yn glir ar y mater hyd nes y deloch yn wir edifeiriol am bechod.

"Mi dybygwn fod y Bibl yn cyflwyno i ni yr athrawiaeth hon o ragluniaethiad i dri amcan yn unig. Yn gyntaf, i ddysgu i ddynion gymeriad Duw,—ei fawredd, ei ddoethineb, ac fel y mae yn anamgyffreddwy, ac fel hyn eu harwain i roddi yr addoliad a'r ymostyngiad sydd yn gweddu iddo. Pwy bynag sydd yn credu bôd Duw, sydd yn credu anfeidrol ddirgelwch. A chan ei fod ef ei hun y fath ddirgelwch, ni a ddylem ddysgwyl dirgelwch yn ei gynlluniau a'i ragluniaeth, a pheidio ymryson lle y dylem addoli a phlygu mewn gwylder ger ei fron.

"Yr ail amcan ydyw, i attal beiddgarwch y rhai drygionus. Mynai Duw i annuwiolion wybod nas gallant ei dwyllo na dianc rhagddo—nas gallant, er eu holl falais, hyd yn nôd bechu heb iddo gael y llaw uchaf arnynt. 'Diau cynddaredd dyn a'th folianna di; gweddill cynddaredd a waherddi.' Efe a âd iddynt wybod fod ei gynghor tragywyddol yn ddyfnach na'u dryganiau hwynt, ac y goruwchreola efe y cyfan er ei ogoniant ei hun. Fel hyn yr oedd apostol yn cyfarch y rhai a groeshoeliasant Grist: 'Hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch chwi, a thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch ac a laddasoch.' Nis gallasai eu dwylaw anwir hwy wneyd dim ond cario allan ei benderfynedig gynghor ef. Eiddo Duw oedd y cynghor, a'r eiddynt hwy oedd yr anwiredd.

"Y trydydd a'r prif amcan i'r athrawiaeth hon, dybygwyf, sydd i gysuro pobl Dduw. Y mae genym bechodau, gwendidau, a themtasiynau sydd yn tueddu i'n digaloni yn ddirfawr; ac i ba le yr awn am gysur pan fyddo ein calonau yn gwaedu, pan y mae ein pechodau mor lïosog, ein cynnydd mewn sancteiddrwydd mor fychan, ein goleuni yn myned allan, a thywyllwch dudew yn gorphwys ar ein henaid tlawd digymhorth? Nis gallwn, yn wir, esgyn i fyny i gysegr sancteiddiolaf Duw, agor llyfr y saith sêl, a darllen ein henwau yn nghofrestr ysgrifenedig y Tragywyddol Fôd. Ond gallwn wybod fod y cyfryw lyfr yno, a bod ysgrifen ein Tad wedi ei llanw â'i arfaethau tragywyddol, pob un o'r rhai a gyflawnir mor sicr ag y saif ei orseddfainc ef. A phan y caffom ynom ein hunain, yn nghanol pob ymdrech wylofus, y cychwyniadau egwan o sancteiddrwydd, ni a wyddom fod Duw wedi dechre ei waith ynom,—gwaith y penderfynodd arno cyn seiliad y byd, ac y bydd iddo ef, yr hwn a ddechreuodd ynom y gwaith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist—dwyn i weithrediad ei gynllun tragywyddol. Yr ydym yn caru gweled ein hiachawdwriaeth oddifewn i'r cynllun hwnw; ac ni a wyddom ei fod yno, os ydym yn blant iddo trwy ffydd yn Nghrist

Iesu. Nis gallwn ddarllen ei gynghor dirgelaidd, ond gallwn ddarllen ei waith ysbrydol o'n mewn; ac felly siriolir a chefnogir ni gan y meddwl na wrthyd Duw mo honom, mwy nag yr ymwrthyd efe â'r cynllun tragywyddol a wnaeth ei ddoethineb cyn bod y byd. 'Pwy a rydd ddim yn erbyn etholedigion Duw?' Yr oedd eu henwau ganddo yn ei lyfr cyn iddynt hwy dywallt deigryn, a chyn bod diafol i'w temtio.

"Os chwiliwch chwi i drefn yr Ysgrythyrau, chwi a gewch nad ydynt yn dechre gyda rhagluniaethiad. Dyfod i mewn wedi hyny y mae yr athrawiaeth hon. Nid ydynt yn ei chyflwyno o flaen meddwl pechadur ar y cychwyn. Yn wir, ymddangosant yn ei gadael heibio. Ac yn ol fy marn i, dylai pechadur ei gadael heibio hefyd, am y dylai efe ddilyn dull y Bibl, ac o herwydd nad yw rhagluniaethiad yn cynnwys dim a all fyned ar draws dyledswyddau eglur ac ymarferol Cristionogaeth, ac oblegid os ä efe allan o lwybr ei ddyledswydd, i ymyraeth â bwriadau dirgel Duw, bydd yn dueddol o dramgwyddo a syrthio ar ei gychwyn cyntaf. Gwelwch fel y mae trefn y gwirionedd yn sefyll yn yr Epistol at y Rhufeiniaid—un o'r rhanau mwyaf trefnus ac ymresymiadol yn yr holl ysgrifeniadau sanctaidd. Mae Paul yn myned dros y materion o bechod, y cwymp, y ddeddf, y cyfammod, Crist, edifeirwch, cyfiawnhâd trwy ffydd, yr iawn, sancteiddrwydd, gobaith, yr Ysbryd Glân, llygredd, yr adgyfodiad; ac *ar ol* yr holl bethau hyn, ac nid nes y mae yn dyfod i'r wythfed bennod, y mae efe yn llefaru athrawiaeth rhagluniaethiad. Ac y mae efe yna yn ei dwyn ymlaen i gysuro a chefnogi credinwyr, nid i gyfarwyddo anghredinwyr. Dyma yw y cysur: os oes ganddynt fymryn o sancteiddrwydd, gallant wybod fod eu henwau yn llyfr tragywyddol Duw; ei fod ef wedi dechre gwneuthur erddynt yr hyn a fwriadodd ei wneyd er tragywyddoldeb, a'u bod hwy mor ddiogel ag ydyw efe o anghyfnewidiol. 'Oblegid y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef, fel y byddai efe gyntafanedig ymhlith brodyr lawer. A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hyny a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe.' Nid oes yr un ddolen wedi ei gadael allan. Mae yr holl gadwen wedi ei gorphen, ac yn codi i ogoniant. Fel hyn y mae yr Apostol yn dyddanu credinwyr, trwy beri iddynt wybod fod holl fater eu hiachawdwriaeth yn fater o gynllun a bwriad a darpariaeth cyn eu geni—mai nid rhywbeth ydyw yn dyfod i mewn yn nghanol ansicrwydd ac anwadalwch amser, ond yn sefyll uwchlaw amser, megys yr oedd yn sefyll cyn amser, yn llyfr Duw. Gellwch weled yr un peth yn yr epistolau eraill. Yr wyf yn deisyf arnoch sylwi fel y mae athrawiaeth rhagluniaethiad bob amser yn cael ei dwyn i mewn i gysuro a chadarnhâu cristionogion, y rhai sydd yn yr ymdrech i gael y feistrolaeth ar bechod. Nid yw yn cael ei dwyn ymlaen er cyfarwyddyd i bechaduriaid annychweledig. Dymunaf arnoch, gan hyny, i beidio ymyraeth âg arfaethau tragywyddol Duw."

Yr oedd fy nghyfaill ieuanc yn gwrando yn ddyfal ar hyn oll. Yr oedd efe yn achlysurol 'yn gofyn cwestiynau nad oes eisieu eu coffâu yma; ac yr oeddwn yn meddwl ei fod yn ymddangos yn tueddu i ddilyn fy nghynghor. Wedi i mi orphen yr oll yr oeddwn am ddyweyd ar y pryd, efe a atebodd mewn modd pruddaidd a hanner-synllyd, "Yn wir y mae genyf galon ryfedd! Nis gwn pa beth i feddwl. Pa beth yr ydwyf *i'w* wneyd, os wyf i adael heibio ragordeiniad Duw?"

Dywedais, "Yr wyf eisoes wedi dyweyd wrthych. Dylech ufuddhâu i'r efengyl, ymwadu â chwi eich hun, codi eich croes a dilyn Crist, ceisio Duw, a'i wasanaethu ef â'ch holl galon. Galwad yr efengyl yw yr hyn sydd yn cyfeirio at bechaduriaid anedifeiriol. Mae Duw yn anfon atynt genadwri o heddwch a maddeuant o'r nef —cynnygiad o fywyd tragywyddol, ac yn ei gadael, wedi ei selio â'i sêl ei hun, wrth ddrws eu calonau. Mae'r genadwri yn sicrhâu iddynt ewyllys da Duw, ac iawn dros bechaduriaid, a hwnw yn gyflawn ynddo ei hun, ac yn cael ei râd gynnyg. Nid oes eisieu i chwi ond derbyn y genadwri, a chwi a gewch ffafr Duw—dim ond cyttuno âg ef yn ol fel y mae yn cynnyg drwy Grist, ac efe a gyttuna â chwi. Y mae efe yn eich galw i'r ffydd hon yn ngwaed y cymmod; a dim ond i chwi ei gredu, ac anturio eich enaid lle y mae efe yn llonyddu yn ei gariad, ac yn dodi ei ogoniant i orphwys, a dyna genych yr holl wirionedd sydd yn Nuw yn wystl y bydd iddo eich dwyn yn sicr i'r nefoedd. Yr Ysbryd Glân a'ch cynnorthwya, ac ni ddaw digofaint Duw yn agos atoch. Ar alwad yr efengyl fel hyn, chwi a ddylech wrando. Gellwch gamgymeryd am yr arfaeth, ond nid am eich dyledswydd. Os yw cynghor Duw yn dywyll, y mae galwad Duw yn oleu. Ac yr wyf yn gobeithio, gan hyny, y bydd i chwi ufuddhâu i'r alwad, a pheidio ymyraeth â'r cynghor, nes i chwi gyrhaedd yr amser priodol. Os gwnewch chwi fel hyn, dedwydd fyddwch; ond os na wnewch, os bydd eich meddwl ffol yn cymeryd ei demtio i redeg ar ol rhagluniaethiad, chwi a gewch trwy

brofiad eich bod wedi camgymeryd eich cam cyntaf. Ac wedi eich holl ymgeisiau, cofiwch y bydd raid i chwi ddyfod yma yn ol yn y diwedd. Dodwch o'r neilldu eich ysbryd dadleu, a rhowch eich cydwybod ar waith. Gadewch heibio yr arfaethau, a deuwch at eich dyledswyddau. Rheolau Duw iddo ei hun, ac nid i chwi, yw ei arfaethau ef. Gadewch i mi obeithio, pan y gwelaf chwi drachefn, y bydd eich calon yn penderfynu gwneyd fel y mae Duw yn gorchymyn i chwi. Byddwch yn ddigon synwyrol i ofalu am eich gorchwyl eich hunan, ac i adael i Dduw wneyd y gwaith a arfaethodd efe iddo ei hun."

Efe a aeth ymaith, a minnau yn teimlo yn hyderus y byddai iddo ddilyn fy nghynghor. Ymhen yr wythnos efe a alwodd gyda mi drachefn. Y pryd hwnw yr oedd oddeutu deg o bersonau eraill yn bresennol. Ymddyddenais â phob un am ychydig fynydau, gan ddechre gyda'r un pellaf oddiwrtho ef, er mwyn iddo gael ei ddylanwadu gan eu meddyliau hwy, a chan y gwirioneddau ysgrythyrol a draethid genyf er eu cyfarwyddo. Yr oeddwn yn meddwl nas gallai dim fod yn gymhwysach i wneyd lles iddo na'r hyn a ddywedid gan rai o'r personau hyny. Yr oedd un o honynt yn dywedyd am ryfeddol ddaioni Duw tuag ato trwy ei holl oes, ac yn galaru am na wnaeth efe ddim ond camddefnyddio'r daioni, ac anghofio Duw yn ei anniolchgarwch. Yr oedd yn rhyfeddu i Dduw ei arbed ef, y fath bechadur annheilwng. Yr oedd un arall yn dyweyd ei bod hi yn methu gwneyd i'w chalon *deimlo*. Yr oedd hi wedi ceisio; ond er gwybod ei bod yn bechadur, yn cael ei chondemnio yn gyfiawn gan ddeddf Duw, ac yn cael ei gwahodd yn rasławn at Grist, eto nad oedd ei chalon galed yn dryllio o dan ddychrynfeydd dig Duw, nac yn toddi dan ei gariad digymhar. Dywedai un arall ddarfod i'w holl ymgeisiau gyda chrefydd fod yn ofer—fod ei weddïau a'i benderfyniadau wedi methu—fod gwrthwynebrwydd ei galon i Dduw yn ymddangos yn cynnyddu, hyd nes iddo gael ei ddwyn i weled nad oedd ond un peth yn obaith iddo ef, a hwnw ydoedd, fod Duw wedi addaw achub pechaduriaid euog a roddent eu hymddiried yn Nghrist. Ac wedi iddo orphwys ar y fath addewid, nid oedd yn cael ei drallodi mwyach, ond ei galon mewn tangnefedd. Yr oedd yn edrych at Iesu Grist am ei gadw, ac yn bendithio Duw am i'r Ysbryd Glân ei arwain i'r orphwysfa hon. Nid oedd am fyned yn ol at y byd, ïe, pe cynnygiai iddo y cwbl oedd ganddo. Un arall a ddywedai ei fod yn ofni digofaint Duw. Gwyddai ei fod yn ei haeddu. Yr oedd yn ofni nad oedd drugaredd iddo ef. Buasai yn rhoddi yr holl fyd, pe buasai ar ei helw, am fod yn nghyflwr y cristion lleiaf a gwaelaf oll.

Fel yr oedd y gŵr ieuanc yn gwrando ar yr ymadroddion hyn, ac ar yr atebion a roddid iddynt, efe a ymddangosai yn anesmwyth iawn. Yr oedd yn newid ei ystum yn fynych, ac anhyfrydwch i'w weled ar ei wedd. Cyn i mi siarad âg ef, yr oeddwn wedi penderfynu i beidio gadael iddo ddwyn ymlaen wrthddadleuon yn erbyn etholedigaeth yn nghlustiau y rhai oedd yn wyddfodol. Gofynais iddo a oedd efe wedi derbyn cynnygion Duw i bechaduriaid am eu hachub trwy ei ras yn Iesu Grist; ac efe a atebodd gyda sydynrwydd a gerwinder, ac mewn tôn oedd yn peri synedigaeth i ni i gyd, "Os yw Duw yn rhagordeinio pob peth, yr wyf yn methu gweled paham y condemnir ni am bechod."

Atebais mewn dull arafaidd a difrifol, "Y mae Paul wedi rhoddi ateb i hyna, ac nid oes genyf fi ateb arall i'w roddi. Pan ddywedai un wrtho, 'Paham y mae efe eto yn beïo? canys pwy a wrthwynebodd ei ewyllys ef?' yr oedd yr apostol yn ateb, 'Yn hytrach, O ddyn, pwy wyt ti a ddadleui yn erbyn Duw?'" Ac heb roddi amser iddo ef draethu gair arall, aethum ymlaen i siarad â'r nesaf ato, heb ddyweyd ychwaneg wrtho ef. Ac ar ol gweddïo, dywedais wrtho, "Nos dawch," wrth y drws, gan gymeryd gofal am iddo fyned ymaith gyda'r lleill, heb roddi cyfleusdra pellach iddo i siarad â mi.

*(I barhau.)*

---

### Y DIWYGIAD CREFYDDOL YN 1859—60.

MEWN pregeth a draddodwyd gan Mr. Spurgeon yn Neuadd Exeter, Llundain, fore Sabboth, Ionawr 26, 1860, efe a adroddai,—

"Mi a welais yr wythnos ddiweddaf yr hyn na chanfûm erioed o'r blaen. Yr oeddwn yn gweled pobl Dublin, heb eithriad, o'r uchaf hyd yr isaf, yn tyru i wrando yr efengyl. Cefais wybod fod y gynnulleidfa yn cael ei chyfansoddi i fesur mawr o Babyddion; a gwelais hwynt yn gwrando y gair mor ddyfal â phe buasent yn Brotestaniaid. Mi a welais ddynion nad oeddynt erioed wedi clywed yr efengyl o'r blaen, gwŷr milwraidd, nad oedd yn debyg fod dim yn eu harchwaethau a'u harferion yn gyffelyb i'r eiddo y gweinidog Puritanaidd, eto hwynt-hwy yn eistedd i wrando, ïe, yn dyfod drachefn—yn ei wneyd yn bwnc i eistedd yn y lle y clywent oreu—yn cymeryd eu gwasgu fel y gallent nesu i wrando'r gair; ac ni welais erioed o'r blaen y fath awyddfryd angerddol mewn pobl am glywed yr efengyl. Clywais hefyd newyddion hyfryd am y gwaith da yn myned ymlaen ymysg y rhai annheb-

ycaf—dynion nas gallent siarad heb gymysgu eu hymddyddanion â llwon a rhegfeydd—y rhai hyny yn dyfod i wrando'r gair; ac yr oeddynt yn gwrando, ac yn cael eu hargyhoeddi; ac os na bydd i'r argraff wisgo ymaith, mae rhywbeth wedi ei wneyd erddynt nas anghofiant hyd yn nôd yn nhragywyddoldeb. Ond y peth mwyaf hyfryd i mi a welais yw hyn, a rhaid i mi ei adrodd i chwi. Hervey unwaith a ddywedodd, 'Mae pob llong nofiadwy yn uffern nofiadwy.' O bob dosbarth o ddynion, tybid mai'r morwr oedd yr anhebycaf i'r efengyl ei gyrhaedd. Wrth groesi o Gaergybi i Dublin a dyfod yn ol—y naill a'r llall yn fordeithiau geirwon—mi a dreuliais yr orian hyfrydaf a gefais erioed. Yn y llestr gyntaf yr aethum iddi, ysgydwid fy nwylaw yn serchog gan y morwyr. Yr oeddwn yn meddwl, 'Beth a all y morwyr hyn wybod am danaf?' ac yr oeddynt yn fy ngalw yn '*Brother!*' Wrth gwrs, yr oeddwn yn teimlo fy mod yn frawd iddynt; ond nid oeddwn yn gwybod pa fodd y daethent hwy i siarad â mi felly. Nid yn gyffredin y ceir morwyr yn galw pregethwyr yn frodyr. Yr oeddynt yngweini arnaf yn ofalus; a phan yr ymholais, 'Paham yr ydych mor dirion wrthyf?' 'Wel,' ebe un, 'am fy mod yn caru eich Meistr, yr Arglwydd Iesu.' Ymchwiliais, a chefais nad oedd ymysg yr holl ddwylaw ond tri o ddynion annychweledig. Er y bu y rhan fwyaf o honynt o'r blaen heb Dduw ac heb Grist, eto trwy ymweliad tra disymwth o'r eiddo yr Ysbryd, yr oeddynt oll wedi eu dychwelyd at yr Arglwydd. Siaradais âg amryw o honynt; ac ni welais erioed bobl mwy ysbrydol a nefolfrydig. Y mae ganddynt gyfarfod gweddi bob bore cyn hwylio'r llestr, a chyfarfod gweddi arall ar ol iddi gyrhaedd y porthladd; ac ar y Sabbothau, pan y maent yn aros yn Kingston neu Gaergybi, mae gweinidog yn dyfod ar fwrdd y llestr, ac yn pregethu yr efengyl iddynt; bydd y cabanau yn orlawnion, a chynnelir y gwasanaeth ar y *deck* pan yn gyfleus; ac meddai un oedd yn llygad-dyst wrthyf, 'Mae'r gweinidog yn pregethu yn ddifrifol; ond byddai yn dda genyf i chwi glywed y dynion yn gweddïo. Ni chlywais y fath weddïo erioed o'r blaen,' ebe efe; 'maent yn gweddïo gyda'r fath rym nas gall ond morwr weddïo felly.' Yr oedd fy nghalon yn dyrchafu gan lawenydd—meddwl am long wedi myned yn eglwys nofiadwy—yn Bethel i'r Arglwydd. Pan yr oeddwn yn dyfod yn ol mewn llong arall, mi ddysgwyliais weled yr un peth; ond yr un fath yn gymhwys yr oedd yn hono hefyd. Yr oedd yr unrhyw waith da yn myned ymlaen. Rhodiwn yn eu mysg a siaradwn â hwynt. Yr oeddynt oll yn fy adwaen. Un dyn a gymerodd o'i logell lyfr Cymraeg â gorchudd o hen ledr iddo. 'A ydych chwi yn adwaen y llun yma yn nechre'r llyfr?'* medd efe wrthyf. 'Yr wyf yn meddwl fy mod,' meddwn innau. 'A fyddwch chwi yn darllen y pregethau hyn?' 'Byddwn, syr,' atebai efe; 'ac mi fyddaf yn eu darllen yn uchel ar gyhoedd mor fynych ag y gallwyf. Os byddwn yn cael tramwyfa deg, byddaf yn casglu rhai o'm hamgylch, ac yn darllen pregeth iddynt.' Dyn arall a adroddodd wrthyf am foneddwr yn chwerthin pan yr oedd emyn yn cael ei chanu; a chynnygiodd un o'r dynion ar fod iddynt weddïo drosto. Hyny a wnaethant; a'r gŵr hwnw yn ddisymwth a darawyd i lawr, ac a ddechreuodd lefain am drugaredd, ac erfyn ar Dduw am faddeuant. 'O syr,' ebe'r morwyr, 'mae genym y prawf goreu fod Duw yma; o herwydd ni a welsom y *crew* hwn wedi eu dwyn yn rhyfedd i wybodaeth o'r gwirionedd; a dyma lle yr ydym yn bobl orfoleddus a hapus yn gwasanaethu yr Arglwydd.' Yn awr, beth a ddywedwn am hyn ond fod y mynyddoedd yn defnynu melus-win? Y rhai oedd uchaf gyda'u llwon sydd yn awr yn uchaf gyda'u caniadau; y rhai oedd blant amlycaf Satan sydd wedi dyfod i ddadleu yn selog dros y gwirionedd; oblegid unwaith y cewch chwi forwr wedi ei ddychwelyd, nid oes derfyn ar y daioni a all efe ei wneuthur, gyda Duw yn ei gynorthwyo a'i fendithio."

* Cyfrol o Bregethau Mr. Spurgeon wedi eu cyfieithu i'r Gymraeg.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD II.

*Y Cyfnod Cyntaf ar fy Oes.*

PAN darawyd fi gyntaf gan y drychfeddwl i ysgrifenu hanes fy mywyd fy hunan, tybiais y gallwn wneyd hyny heb gymhorth neb byw bedyddiol. Mor ynfyd oeddwn! Gwelaf wrth ddechre ar y gwaith y bydd raid i mi ymddibynu yn hollol ar dystiolaeth eraill gyda golwg ar y rhan flaenaf o'm hoes; a chan fy mod yn benderfynol o geisio ymgadw at ffeithiau, rhaid i mi addef wrthyf fy hun nad ydwyf yn cofio dim am yr adeg y daethum gyntaf i'r byd.

Yn ngwyneb y diffyg hwn o eiddo fy nghof, yr wyf yn meddwl y gallaf ymddiried yn gwbl yn ngeirwiredd fy mam. Dywedodd hi wrthyf fwy nag unwaith mai rhwng dau a thri o'r gloch yn y bore, ar y pummed dydd o Hydref, yn y flwyddyn 18——, y gwelais gyntaf oleuni canwyll ddimai. Pa un ai teimlo yn dramgwyddedig o herwydd fod y parotoadau ar gyfer fy nyfodiad mor salw, neu ynte rywbeth arall, a barodd i mi fod mor groes fy nhymher, a gwaeddi ac ysgrechian hyd eithaf fy ngallu ar ddechre fy oes, nid allai y ddwy gymydoges oeddynt yn y fan a'r lle benderfynu. Pa fodd bynag, ystyrid fi gan y ddwy gymydoges grybwylledig yn un hollol ddideimlad ac anystyriol, pan wnawn y fath drwst, a minnau yn gwybod, neu o leiaf y dylaswn wybod, fod fy

mam mor wael y bore hwnw. Gwn hyn —nad ymgynghorwyd â fi o gwbl gyda golwg ar yr amgylchiad y cyfeiriais ato; a diheu mai hyny a barodd i mi fod mor afrywiog fy natur. Wrth gwrs nid yw hyn ond dyfaliad, ac nis gallaf ei osod i lawr fel ffaith. Oni buasai fy mod yn berffaith sicr na byddai fy mam un amser yn dyweyd yr hyn nad oedd wir, o'r braidd y gallwn gredu fy mod yn y cyfnod hwn ar fy mywyd fel yr wyf agos yn awr, sef yn hollol benfoel a diddannedd, ac hefyd fod fy nhrwyn, yr hwn a ystyrir yn gyffredin yn Rhufeinig o ran ffurf—ei fod, meddaf, y pryd hwnw, nid yn unig yn fflat, ond fel newyddloer â'i dau big i fyny, a fy mod mor gnawdol, fel yr oedd tyllau yn fy mhenelinoedd a'm penglinian, lle nad oes yn awr, byd a'i gŵyr, ond esgyrn pigfain i'w canfod.

Nid wyf yn cofio ychwaith am gyfnod pryd nad allwn a phan nad oeddwn yn weddol barod i gerdded; ond dywedodd fy mam wrthyf fy mod ar un adeg yn gwbl wrthwynebol i hyny, ac na wnawn ond gorwedd ar fy nghefn a gwaeddi a chicio, os na fyddai rhywun yn fy nghario. Mae yn ddrwg genyf fy mod yn euog o'r fath ymddygiadau, er nad oes genyf un cof am danynt. Rhyfedd genyf feddwl erbyn hyn fod tair blynedd o fy oes wedi myned heibio na wn ddim yn eu cylch oddiar fy nghof; a phe byddai y rhai a'm hadwaenent oreu yr adeg hono, ac yn ngeirwiredd y rhai y gallwn ymddiried, yn rhoddi y cyhuddiadau gwaethaf yn fy erbyn, ni fyddai genyf ddim i'w wneyd ond eu credu. Ai onid oedd genyf y pryd hwnw reswm, cof, a theimlad? Ai lwmp o glai byw oeddwn? Os felly, o ba le y daeth i mi reswm, cof, a phethau cyffelyb?

Un peth a feddwn, mi wn, oddiar dystiolaeth fy mam—ac y mae arnaf ofn fy mod yn ei feddu heddyw i raddau gormodol—sef yw hyny, drygioni. Torais, ebe hi, lawer o lestri; a gwn ei bod yn dyweyd y gwir: chwilfriwiais yr ychydig addurniadau a feddai, cripiais wynebau a thynais wallt amryw o'm perthynasau a'm cymydogion. Tynais glustdlws un ferch ieuanc yn glir drwy ei chnawd, nes oedd y gwaed yn pistyllio ar ei hysgwydd. Lleddais dair o gathod bychain trwy wasgu y gwynt allan o honynt; a chyflawnais amryw ystrywiau eraill na wiw i mi hyd yn nôd eu cyfaddef wrthyf fy hun, er nad wyf yn teimlo euogrwydd o'u herwydd. Yr hyn sydd yn fy synu fwyaf ydyw, fod pawb wedi cymeryd i fyny gyda mi, ac ymddwyn tuag ataf fel pe buaswn yn dwyn llawer o elw iddynt, pryd mewn gwirionedd nad oeddwn yn dda i ddim. Nid yn unig nid oeddwn yn dwyn dim elw i neb, ond achoswn lawer o flinder a thrafferth. Collodd fy mam lawer noswaith o gysgu o'm herwydd; ac ugeiniau o weithiau y bu raid iddi godi gefn nos i wneyd tê slecyn i mi. Ar adegau gwaeddwn am oriau bwygilydd; ac o herwydd fy mod wedi cymeryd yn fy mhen i beidio siarad am gryn ddwy flynedd, ni wyddai neb am ba beth y gwaeddwn. Ac er y cwbl, clywais fy mam yn dyweyd na chymerasai y byd am danaf, hyd yn nôd pan waeddwn fwyaf.

Yr oeddwn yn dalp o blentyn tewdrwm, ac ystyried fy mod yn byw ymron yn hollol ar laeth; ac er fy mod mor drwm, ymgystadleuai fy nghymydogion yn fy nghario. Ymddengys fy mod yn hoffi bod heb ddannedd; oblegid pan ddechreuodd yr aelodau hyny wneyd eu hymddangosiad, yr oeddwn yn flin iawn fy ysbryd, yn gymaint felly nes y curiodd fy nghnawd. Dywedwyd wrthyf fy mod wedi rhoi ffordd mor fawr i natur ddrwg nes i mi o'r diwedd gael *convulsions*. Mor ynfyd oeddwn! Gwyn fyd na chawn y cyfleusdra i dyfu dannedd yrwan! Ond y mae un fantais o fod fel yr ydwyf yn awr: ni fedr neb daflu dim "ar draws fy nannedd!"

Wel, dyna ddigon am y cyfnod nad oes genyf un cof am dano; a gwell o lawer genyf droi at yr amser y gwn rywbeth yn ei gylch oddiar fy mhrofiad a'm cof.

## PENNOD III.

### *Cofion Boreuaf.*

Yr wyf yn meddwl, ie, yr wyf yn sicr o ran hyny, mai un o'r pethau cyntaf yr wyf yn gofio ydyw myned gyda fy mam i'r capel. Nid ydyw yn ddrwg genyf fod fy nghofion cyntaf ynglŷn â'r capel mawr. Yr hen gapel anwyl! ti a adewaist lawer argraff ar fy nghof, ac ar fy nghydwybod hefyd, mi obeithiaf.

Pa un ai y cyntaf, yr ail, neu yr ugeinfed tro i mi fyned yno, neu ynte amryw droion wedi ymdoddi i'w gilydd a adawodd argraff mor ddwfn ar fy meddwl, nis gallaf yn awr benderfynu. Ond sicr wyf fy mod yn cofio myned yn llaw fy mam i'r capel, a fy mod yn gweled y ffordd yn faith iawn —a fy mod wedi mynu cael fy nghario ran fawr o'r siwrnai. Tebygol mai nos Sabboth ydoedd; oblegid yr oedd y capel yn llawn o bobl, ac hefyd wedi ei oleuo, nid â *gas* y pryd hwnw, eithr â chanwyllau. Brawychais weled cynifer o bobl, a thorais allan i wylofain; ac yr wyf yn cofio fod fy mam wedi gosod ei llaw ar fy safn nes y bu agos iddi a fy mygu; ac nid cyn i rywun oedd yn fy ymyl roddi i mi *Nelson ball* y peidiais a gwaeddi. I ba le y mae y melusion enwog hyny wedi myned? Ni fyddaf yn gweled dim tebyg iddynt yn y dydd-

iau hyn. Pa un ai fi ai y melusion sydd wedi newid? Yr oedd llawr y capel y pryd hwnw yn wahanol iawn i'r peth ydyw yn awr. Yr oedd yn agored, a rhesi o feinciau digefn ar ei draws, gydag ychydig eisteddleoedd dyfnion o'i gwmpas, y rhai a bwysent ar y mur. Ar ganol y llawr yr oedd *stove* fawr, a llawer o blant o'i chwmpas, â'u hwynebau càn goched â chrib y ceiliog. Mae yn debyg mai y gauaf oedd yr adeg ar y flwyddyn.

Yr wyf yn cofio am y sêt fawr a'r sêt ganu ar yr ochr chwith iddi, ac am Abel Hughes gyda'i gap melfed yn eistedd o dan y pulpud, yr hwn—sef Abel—oedd yn myned oddiamgylch yn awr ac yn y man i snyffio y canwyllau. Bydd genyf rywbeth i'w ddyweyd eto am Abel Hughes. Yr oedd y pulpud â'i gefn ar y mur, ac yn sefyll ar ddwy goloin, ac mor uchel nes peri i mi feddwl am nyth y wenol a adawsid o dan fondo ein tŷ ni er yr haf blaenorol. Synwn sut yr oedd "y dyn," fel y galwn ni ef, oedd yn y pulpud, wedi gallu dringo i'r fath le, a pha amcan oedd ganddo yn myned yno. Gofynwn i mi fy hun, os oedd efe yn arfer a dringo yno, a fyddai efe, tybed, yn cael codwm weithiau wrth ddyfod i lawr y grisiau, fel y cawswn i fwy nag unwaith wrth ddyfod i lawr o'r llofft, neu a fyddai rhywun yn ei gario ar ei gefn, fel y cerid fi gan Bob fy mrawd i lawr o'n llofft ni! Rhyfeddwn yn fawr nad oedd neb yn dyweyd dim ond "y dyn oedd yn y *box*," a rhyfeddwn fwy fod ganddo ef gymaint i'w ddyweyd. Nid oeddwn yn deall dim oll a ddywedai, oddigerth yr enw "Iesu Grist;" a thybiais ar y dechre mai efe oedd yr "Iesu Grist" y soniai fy mam gymaint am dano wrthyf. Dysgwyliwn o hyd iddo dewi, ond nis gwnai. Wedi bod yn siarad yn faith, fel y tybiwn i, dechreuodd "y dyn" edrych yn ddig a chochi yn ei wyneb a gwaeddi yn uchel; a phenderfynais ar unwaith mai nid Iesu Grist oedd efe. Tybiwn fod "y dyn" yn fy nwrdio i yn dost—am ba beth nis gwyddwn; ond o herwydd ei fod wedi edrych arnaf lawer gwaith, gwyddwn o'r goreu mai ataf fi yr oedd efe yn cyfeirio, a dechreuais wylofain drachefn; a bu raid fy hanner fygu eilwaith, a rhoddi i mi eto *Nelson ball* cyn y tawn.

Edrychais o'm cwmpas, ac i lawr ac i fyny. Synais weled cynifer o bobl yn llofft y capel. A oeddynt i gyd yn arfer a chysgu yno? Pa le yr oeddynt yn cael digon o welyau? Gwelwn y capel yn dechre tywyllu, a'r dyn oedd yn y *box* yn ymddangos yn llai ac ymhellach o lawer oddiwrthyf, er ei fod yn dal ati i waeddi yn uwch ac yn uwch. Teimlwn fy mam yn fy llochesu, ac yn y fynyd collais olwg ar bawb a phobpeth—yr oeddwn mewn trwmgwsg. Nis gwn am ba hyd y bum yn cysgu; ond cafwyd trafferth fawr i fy neffro, er fod yr holl gynnulleidfa yn canu. Hoffwn y canu yn fwy o lawer na'r bregeth. Teimlwn rywfodd fy mod yn deall y canu, er nas gallaf yn awr roddi ffurf ar y dealltwriaeth hwnw. Erbyn hyn, eisteddai y dyn oedd yn y pulpud, gan sychu y chwys oddiar ei dalcen, a chan osod cadach mawr yn llac am ei wddf. Gwelwn Abel Hughes yn dringo i fyny grisiau y pulpud; a phenderfynais yn fy meddwl mai myned i nôl "y dyn" ar ei gefn yr oedd efe, fel y byddai Bob yn fy nôl i o'r llofft gartref. Siomwyd fi yn ddirfawr pan welais ef yn sefyll ar ganol y grisiau, ac yn dyweyd rhywbeth wrth y bobl. Deallais ymhen y rhawg ar ol hyny mai cyhoeddi y moddion am yr wythnos ddilynol yr oedd efe. Aeth y nifer mwyaf o'r bobl allan; ond arosodd fy mam ac amryw eraill ar ol, a chauwyd drysau y capel. Meddyliais nad oeddym byth i gael myned adref, a dechreuais grio drachefn; ond dywedodd fy mam wrthyf ar ei gwir y caem fyned "rwan *just*." Gwelwn y dyn oedd wedi bod, fel y dychymygwn, yn fy nwrdio i, yn disgyn i lawr grisiau y pulpud; a gwyliwn ef yn ddyfal rhag iddo syrthio. Cyrhaeddodd i'r gwaelod yn ddiogel. Wedi hyn gwelwn Abel Hughes yn codi y llîan oedd yn cuddio rhywbeth ar ffrynt y sêt fawr, ac yn ei lapio yn daclus, gan ei osod o'r neilldu. Synais pan welais beth oedd o dan y llîan. Y fath lestri hardd! Gwelwn y dyn oedd wedi bod yn siarad yn faith yn codi, ac yn myned at y llestri a'r bara oedd wedi ei dori yn fân; ac wedi dyweyd rhywbeth eto am Iesu Grist, dechreuodd fwyta. Tybiais mai cymeryd ei swper yr oedd efe. Pa fodd bynag, ni phrofodd efe ond un tamaid ac un llymaid bach; a meddyliais wrth ei weled yn aros ar hyny nad oedd yn ei hoffi. Pa faint oedd fy syndod pan welais y dyn yn cymeryd y bara ac yn myned oddiamgylch, gan roddi tamaid i bawb. Yr oedd arnaf chwant bwyd, a chredais mai dyn clên oedd y gŵr wedi'r cwbl, ac er ei fod wedi fy nwrdio i mor dost. Pan ddaeth at fy mam, cymerodd hi damaid, ac estynais innau fy llaw; ond gwrthododd fi. Digiais yn enbyd wrtho, a thorais i wylo allan am oddeutu y chweched waith y noson hono. Yr oedd yn amlwg i mi erbyn hyn fod gan y dyn rywbeth yn fy erbyn. Cafodd fy mam drafferth fawr yn fy nhawelu; a phan ddaeth y dyn oddiamgylch gyda'r cwpan, cuddiais fy wyneb o dan glôg fy mam rhag i mi edrych arno, a rhag iddo yntau gael y cyfleusdra i fy ngwrthod eilwaith. Rhwng fod y nos yn dywell, a minnau, fel y tybiwn, wedi cael fy *insultio* gan y pregethwr, yr oeddwn yn flin iawn fy nhymher;

a bu raid i fy mam fy nghario yr holl ffordd gartref y noson hono.

Mor ffortunus ydyw na fwriedir i'r hanes hwn gael ei gyhoeddi! oblegid pe amgen, nis gallaswn adrodd yr hyn a adroddais, am y buasai yn rhy syml a phlentynaidd, er ei fod yn wir, ac er y buasai, o bosibl, yn newydd mewn llenyddiaeth, er nad yn newydd i brofiad ambell ddarllenydd.

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

DEUTERONOMIUM xxii. 6, 7: "Pan ddamweinio nyth aderyn i'th olwg ar y ffordd mewn un pren neu ar y ddaear, â chywion neu âg wyau ynddo, a'r fam yn eistedd ar y cywion neu ar yr wyau, na chymer y fam gyda'r cywion. Gan ollwng, ti a ollyngi y fam, a'r cywion a gymeri i ti, fel y byddo daioni i ti, ac yr estynech dy ddyddiau."

PAN yr oedd Paul wedi cyfeirio at y gwaharddiad yn neddf Moses i gau safn yr ŷch fyddai yn dyrnu, yn gofyn, "Ai dros ychain y mae Duw yn gofalu?" nid awgrymu y mae efe mai rhywbeth islaw i Dduw oedd gofalu am ychain, neu nad oedd y gwaharddiad i dderbyn ufudd-dod llythyrenol, ond gwneyd yn hysbys fod gan y ddeddf hono amcanion uwch mewn golwg na sicrhâu yn unig i'r ŷch oedd yn dyrnu fwynhâd mewn cyfran o'i lafur. Mae efe yn dysgu fod deongliad ffugyrol neu arwyddluniol, yn gystal ag un llythyrenol, i'r hyn a orchymynid yno, sef fod cynnaliaeth briodol i'w rhoddi i bregethwyr yr efengyl: "Ai dros ychain y mae Duw yn gofalu, ynte er ein mwyn ni yn hollol y mae yn dywedyd? Canys er ein mwyn ni yr ysgrifenwyd mai mewn gobaith y dylai yr arddwr aredig, a'r dyrnwr mewn gobaith, i fod yn gyfranog o'i obaith." Yn ol yr unrhyw egwyddor ag a ddyry Paul yna yr ydym i edrych ar y gorchymyn a roddir ynghylch dal adar yn yr adnodau hyn yn llyfr Deuteronomium. Mae rhywbeth arbenig yn y gyfraith hon, gan y cysylltir wrthi yr unrhyw addewid ag a roddir yn y pummed gorchymyn yn y ddeddf foesol, sef estyniad dyddiau ar y ddaear. Nis gall y gorchymyn hwn gan hyny fod yn un dibwys a bychan.

Ni a welwn nad oes yma waharddiad i beidio cyffwrdd oll â'r nŷth, a pheidio cymeryd y cywion mwy na'r fam-aderyn. Na, caniatëir cymeryd ymaith y cywion, er y byddai hyny yn siomedigaeth a phoen i'r fam. Ond sylwer nad yw y geiriau hyn yn perthyn dim i rai fyddo yn edrych yn benodol am nŷth aderyn, eithr ynglŷn âg amgylchiad y canfyddid nŷth yn ddamweiniol. "Pan *ddamweinio* nŷth aderyn i'th olwg, &c." Yr oedd raid i'r nŷth fod mewn lle agored, lle nad oedd yn hawdd peidio ei weled; a gall fod y gorchymyn yn rhoi i ni wers yn hynyma. Wrth ganiatâu math o ormes ar yr aderyn oedd wedi gosod ei nŷth mewn lle anniogel, ai nid all fod Duw yn bwriadu ein dysgu, os na chymerwn ni iawn ofal am ein diogelwch ein hunain, nad ydym i ddysgwyl sicrhâd o'i amddiffyniad ef?

Yn y caniatâd i gymeryd y cywion yn unig, a'r gorchymyn i adael y fam yn rhydd, yr oedd yr Israeliaid yn cael eu dysgu i gymedroli eu dymuniadau. Y duedd ar y cyntaf a fuasai cymeryd yr hen aderyn gyda'r cywion, fel ag i ennill cymaint ag oedd bosibl. Eithr ni buasai hyny ond yn meithrin chwant cybydd-dra. Ac heblaw gwers yn erbyn cybydd-dra, yr oedd yma wers hefyd yn erbyn gwastraff a diofalwch. Buasai cymeryd meddiant o'r hen aderyn gyda'r cywion yn yr amgylchiad hwnw yn rhwystro'r lliosogiad o'r cyfryw adar; ac y mae'r gyfraith yma yn dywedyd wrth yr Israeliaid, Cymer o'r nŷth yr hyn a ddigona i ti heddyw; ond gall y fam adeiladu nŷth arall, a all fod o ddefnydd i rywun heblaw tydi, os nid i ti dy hun rywbryd eto; felly "gan ollwng ti a ollyngi y fam." Mae yma egwyddor gyffredinol yn erbyn pob afrad a gwastraff a diffyg rhagofal anghenrheidiol.

Gallem gael cymhwysiad mwy cyfeiriol eto i'r gyfraith hon. Serch ymlyngar y fam at ei chywion a roes yn ngallu y caffaelydd i gymeryd y naill a'r llall ynghyd. Pe buasai'r fam-aderyn yn gofalu yn unig am ei diogelwch ei hun, hi a fuasai yn ehedeg ymaith ar bob tebygrwydd o berygl, ac yn gadael y cywion yn ysglyfaeth i unrhyw elyn. Ond yr oedd ei serch cryf at ei rhai bychain digymhorth yn ei chadw yn agos atynt. Diau fod Duw yn hyn yn dangos i ni ragoroldeb serch rhieni at eu plant, ac yn ein dysgu nad ydym i gymeryd mantais ar gyfryw serch i niweidio y pleidiau a geir yn ei amlygu.—*Canon Henry Melvill.*

---

RHUFEINIAID iv. 25: "Yr hwn a draddodwyd dros ein pechodau ni, ac a gyfodwyd i'n cyfiawnhâu ni."

GWELL yn ddiau yw y darlleniad Seisonig yma: "*Who was delivered for our offences, and was raised again for our justification.*" Yr un yw yr arddodiad, διὰ, yn y ddwy ran gyfochrog, y *for* yn Saesoneg, a'r *dros* yn Gymraeg; a gallwn ei gyfieithu *o herwydd,*

neu ar *gyfrif,* "Yr hwn a draddodwyd o herwydd ein pechodau, ac a gyfodwyd o herwydd ein cyfiawnhâd." Nid, "i'n cyfiawnhâu ni," ond, "ar gyfrif ein cyfiawnhâd." Mae Iesu Grist yn cael ei osod allan yma fel yn dal y cymeriad o Fachniydd yn ei farwolaeth ac yn ei adgyfodiad. Efe "a draddodwyd dros ein pechodau"—a roddwyd i fyny gan y Tad i ddyoddef a marw fel aberth iawnol o herwydd ein pechodau ni, y rhai a gyfrifwyd arno ef. Cyhyd ag yr oedd pechodau arno ef, yr oedd efe yn rhwym i ddyoddef o'u herwydd. Ond wedi iddo fod yn "ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes," a dwyn yn gyflawn y felldith ddyledus am y beïau, dyna efe yn cael ei ryddhâu gan Farnwr pawb, ac ynddo ef rhyddhäwyd ei holl bobl, y rhai a roddwyd iddo, ac a gredant ynddo. Fel yr oedd ein pechodau ni yn sicrhâu ei farwolaeth ef, y Cyfiawn dros yr anghyfiawn, felly yr oedd ei aberthiad digonol ef dros ein pechodau ni—ein cyfiawnhâd ni oddiwrth ein hen euogrwydd, yn sicrhâu ei adgyfodiad ef. Yma yr oedd y Tad yn tystiolaethu ar gyhoedd y "Boddlonwyd" o'r eiddo ef ar gyfer y "Gorphenwyd" o'r eiddo Crist.

---

# Darlleniadau Detholedig.

## GRAS A DYLEDSWYDD.

RHAI a ddywedant, Rhaid i ni ddysgwyl am i'r Ysbryd gael ei dywallt; ac nes y delo yr Ysbryd, nid oes dim i'w wneyd; gallwn ni eistedd i lawr, heb wneuthur dim, gyda gwaith ein hiachawdwriaeth, na chyda gwaith ein cenedlaeth—ein gwaith personol neu ein gwaith cyhoeddus. Pa beth? dyma benboethni, dyma dwyll,—gwneuthur Ysbryd Duw, ac nid gair Duw, yn rheol ffydd a dyledswydd. Pan y llefarodd Duw wrth Moses ar làn y Môr Coch, "Dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt," gallasai anghredinaeth ddywedyd, Beth! cerdded rhagddom i'r môr, a chael ein boddi i gyd! Nage, sefyll sydd i ni nes y gwelom y môr wedi ei hollti. Nage ddim, medd Duw; "dywed wrth feibion Israel am gerdded rhagddynt." Ac wrth fyned rhagddynt ar air a galwad Duw, gwneyd ei air a'i alwad ef yn rheol ffydd a dyledswydd, yr oeddynt i gael y môr wedi ei hollti o'u blaen. Dysgwyl am i Dduw weithio, yn allanol neu dufewnol, heb i ni ymateb i alwad ei air, a myned rhagom yn ffordd dyledswydd, sydd ddysgwyliad heb un sail iddo; amryfusedd cadarn ydyw, ac y mae yn demtio Duw. Y mae gair Duw yn gleddyf yr Ysbryd; a thra nas gallwn ni ymladd heb yr Ysbryd, ni wna yr Ysbryd chwaith ymladd dros y rhai, neu gyda y rhai, na chymerant ei gleddyf ef yn eu llaw. Fel nas gallwn ni wneuthur dim heb yr Ysbryd, ni wna yr Ysbryd ddim heb y gair. Ac os unwaith y cymerwn ni gleddyf yr Ysbryd yn ein llaw, cymeryd y gair fel ein rheol, a bod gyda ein dyledswydd, a'r gwaith o gredu, yr hyn yw gwaith Duw, yn ol cyfarwyddyd ei air, yna, ac nid heb hyny, y gallwn ddysgwyl i Dduw weithio yn ei rymusder grasol; o herwydd ni ddaw efe allan o'i ffordd ei hun, neu os daw, efe a'ch dwg chwi i'w ffordd cyn iddo wneyd dim ychwaneg, sef eich mynu i ufuddhâu i'w air ef.—*Ebenezer Erskine.*

---

## CYFRANU ODDIAR EGWYDDOR O GARIAD.

YN nghyfundrefn haelioni efengylaidd, mae yr egwyddor sydd yn rhoddi y cyfranwr ar waith yn beth o'r pwys mwyaf. "Yr hwn sydd yn cyfranu, gwnaed mewn symlrwydd." Mae yr efengyl yn gwrthod yr un ffunud y dreth a delir yn anfoddog gan ofn, y llygrwobr a roddir i ddystewi taerni, yr aberth a gynnygir i goeg-ymddangosiad, a'r pris a fwriedir i bwrcasu ffafr Duw, neu fel sail cyfiawnhâd ger ei fron. Yr unig offrwm a dderbynia yw yr hyn a ddeillia oddiar egwyddor o gariad ac ufudd-dod i Grist, ac sydd yn gobeithio a gweddïo am dderbyniad gan Dduw trwyddo ef yn unig. Hi a gymer y cristion at y groes, ac yno a gais gynhyrfu yr oll sydd dyner a haelgar yn ei natur, tra y dywed, "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef." Ac wedi gwneyd ei happeliad wrth y groes, gan waagu ato y fath gymhelliad ardderchog—cariad y Prynwr—ni dderbynia ddim a fydd yn ddyeithr i ddylanwad effeithiol yr egwyddor hon. Gall meddu a thrin symiau mawrion o arian arwain dyn i gyfranu mor haelwych ag y medrai neb ddymuno. Gall tymher naturiol garuaidd arwain i roddi gyda holl rwydd-der a rhadlonedd y gras o gariad ei hun. Ond "pe porthwn y tlodion â'm holl dda—ac heb gariad genyf, nid yw ddim llesâd i mi." Bod heb gariad efengylaidd yw bod heb yr unig arogldarth a all roddi i'r aberth yr arogl peraidd boddlawn gan Dduw. A thra y byddai yr absennoldeb o hono yn troi rhoddion crynöedig cenedl gyfan yn dlodi, gwna ei bresennoldeb ddodi ar hatling y weddw werth a fawrheir gan Dduw ac a gyfoethoga'r nefoedd. Mae yn troi "cwpanaid o ddwfr oer" yn arwyddlun sacramentaidd, canys rhoddir hi er cof am Grist. Cariad wedi disgyn o orsedd nef á drawsnewidia y rhodd leiaf a gysylltir âg Ef yn èm i wneyd yn ddysgleiriach ogoniant yr Hwn y mae ar ei ben goronau lawer.—*Dr. John Harries.*

---

## DYN YN GREADUR DIBYNOL.

CREADUR dibynol ydyw dyn; dibynol nid yn unig ar Dduw, ond ar ddynion eraill,

Mae yn rhaid i ni wrth wasanaeth y naill a'r llall. Mae ein cysur a'n defnyddioldeb yn dibynu i fesur mawr ar ein cydblethiad yn ein gilydd. Mae hyn i'w ganfod drwy holl natur. Ni wnaed un creadur i hanfodi wrtho ei hun, ac i wasanaethu yn unig iddo ei hun. Ceir gwahanol ranau y greadigaeth yn gwasanaethu i'w gilydd. Ac os yw hyn yn egwyddor neu reddf mewn anian, y mae felly hefyd mewn crefydd. Yn hyn, fel mewn pethau eraill, ni a welwn ei chymhwysder i ddyn. Y grasau arbenig sydd yn nodweddu crefydd Crist yw ffydd a chariad. Mae'r credadyn yn ddibynol hollol ar Un arall am ei fywyd, ei gysur, a'i bob peth. O gyfiawnder Crist y mae yn derbyn, a gras am ras. Trwy roddi ei bwys ar ei Anwylyd y mae'r credadyn yn dyfod i fyny o'r anialwch. Yr oedd pechod wedi anffurfio dyn yn y peth hwn. Ceisiodd dyn trwy bechod fod megys duw, yn arglwydd arno ei hun, heb fod yn ddarostyngedig i neb arall. Ond anffurfiad ar greadur yw ei gais yn hyn; a chrefydd Crist sydd yn ei ddwyn i'w ffurf gynhenid. Yma y dygir ni i deimlo ein dibyniad yn gwbl ar Fod arall, ac i ymddwyn yn weddus i hyny. Mae gweddi a mawl yn brofion o hynyma. Myned allan o hono ei hun y mae'r gweddïwr; ceisio y mae gan Arall yr hyn nad oes ganddo ei hunan. Ac wrth foliannu, y mae yn addef mai gan Arall y mae efe wedi cael yr hyn y mola am dano. Ac nid ar Dduw yn unig yr ydym yn dibynu, ond ar ein gilydd hefyd. Nid oes neb o honom yn byw arno ei hun, mwy nag iddo ei hun. Mae'r naill ddyn wedi ei osod yn geidwad i'w frawd. Gan ein gilydd yr ydym yn cael ein dysgu, ac oddiwrth ein gilydd y mae ein cynnaliaeth a'n cysur yn dyfod i ni. "Arall yw yr hwn sydd yn hau, ac arall yw yr hwn sydd yn medi." Mae un oes ac un dyn yn hau yr hyn y bydd oes a dyn arall yn ei fedi. Fel hyn y mae ymhob man, ac fel hyn mewn crefydd. "Aelodau ydym i'n gilydd." Rhaid i'r corff wrth wasanaeth yr holl aelodau, a rhaid i'r naill aelod wrth wasanaeth aelod arall. Nis gall y naill gristion ddywedyd wrth gristion arall, mwy na'r llygad wrth y troed, "Nid rhaid i mi wrthyt." Na, yr ydym oll i edrych, nid pob un ar yr eiddo ei hun, ond ar yr eiddo arall hefyd.—*Y diweddar John Hughes, Liverpool.*

---

### BETH AM Y WEINIDOGAETH YN EIN CYFUNDEB?

Y MAE'R pwys a roddir ar safon uchel i'r weinidogaeth, ac ar fanteision athrofäol, yn cyfansoddi perygl i'r eglwysi ymfoddloni ynddynt fel eu prif nôd, gan esgeuluso eu defnyddio fel moddion i ddwyn y byd i gredu. Cafodd yr Apostolion fanteision athrofäol. Cyn tywalltiad yr Ysbryd Glân arnynt, buont dan addysg uniongyrchol yr Iesu am dair blynedd. Er mai prif amcan dyfodiad Crist i'r byd oedd i gadw pechaduriaid, trwy roddi ei hun drostynt, yr oedd efe yn teimlo fod yn gymaint o bwys i lwyddiant ei deyrnas i'w Apostolion feddu ar bob cymhwysder i'w gwaith, fel y cysegrodd y tair blynedd olaf o'i oes ar y ddaear i'w haddysgu, ac i egluro iddynt ddirgelwch teyrnas Dduw. Dangosodd yr Iesu, yn yr addysg a roddodd iddynt hwy, pa mor uchel y dylai fod safon gweinidogaeth yr efengyl. Os oedd Pedr ac Ioan yn anllythyrenog ac yn annysgedig, yr oeddynt felly yn yr un ystyr ag y dywedid am eu Hathraw ei hun, ei fod "heb ddysgu." Ac y mae dynion eto sydd yn cyfrif pawb yn anllythyrenog ac annysgedig, ag na fuont yn derbyn eu dysgeidiaeth yn yr un ysgol, neu trwy yr un llyfrau, neu dan yr un athrawon, âg y buont hwy eu hunain. Ar ol i'r Iesu roddi i'w Apostolion y manteision athrofäol rhagoraf, efe, rhag iddynt hwy ymdawelu arnynt fel pethau yn unig neu yn benaf i'w mwynhâu, a ddangosodd iddynt drwy ei orchymyn olaf mai darpariaeth oedd yr holl addysg a roddodd iddynt i'w cymhwyso i ddwyn y byd i gredu. "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio hwy—gan ddysgu iddynt gadw pob peth a'r a orchymynais i chwi." Y mae ein heglwysi yn Nghymru, yn ol esiampl eu Pen, yn rhoddi manteision athrofäol i'w pregethwyr. Y mae safon meddwl a gwybodaeth y weinidogaeth yn cael ei godi trwy arholiadau manylach yn hanes ac athrawiaeth y Bibl. Eto ar ol y cyfan, nid y nôd ei hun yw, neu o leiaf a ddylai fod, y pethau a enwyd, ond y ffordd sydd i'w rhedeg er mwyn ei gyrhaedd. Byddai boddlonrwydd dioglyd yn ein gweinidogion, pe byddent y rhai mwyaf duwiol a doniol a gwybodus dan y nefoedd, yn bechod yn erbyn Crist, Pen yr eglwys, yr hwn a'u rhoddodd, nid i gael eu haddoli, ond i arwain pechaduriaid i'w addoli Ef. Am hyny, ar ol ymadawiad dynion ieuainc o'r athrofa, y mae yn gorphwys ar yr eglwysi i roddi ar unwaith waith, digon o waith, iddynt, fel y byddo i'r holl fanteision a gawsant gael eu troi yn fendith i'r byd, ac i'r eglwys hefyd. Y mae yr hen egwyddor dduwinyddol mai undeb yw sail cyfrifiad, i'w chael yn nghyfansoddiad ein Cyfundeb, yn gystal âg yn erthyglau ein cyffes. O herwydd ein hundeb â'n gilydd, cyfrifir pob gweinidog yn weinidog i'r holl eglwysi. Ond, megys yn dduwinyddol, nad yw undeb yn gwanhâu cyfrifoldeb personol, felly yn gyffelyb nid yw unrhyw undeb sydd rhyngom â'n gilydd yn lluddias y posiblrwydd a'r cyfrifoldeb o ofalu yn bersonol am eglwysi neillduol ddisgyn ar weinidogion, ac i'r cyfrifoldeb o gynnal gweinidogion neillduol ddisgyn ar eglwysi. Fe all y personol a'r cymdeithasol gydweithio.—*D. Charles Davies, M.A., yn y fl.* 1861.

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

DEALL da sydd gyffelyb i wydr; mae yn derbyn goleuni'r nefoedd, ac y mae hefyd yn ei adlewyrchu.

Anfynych y mae dadleu ynghylch crefydd, ac ymarfer crefydd, i'w cael yngyd.

Nid yw anghenion natur ond ychydig, eithr y mae anghenion balchder yn ddiderfyn.

Mae arian gŵr arianog naill ai yn ei wasanaethu neu ynte yn ei feistroli. Arian sydd yn meddiannu'r cybydd, ac nid y cybydd yn meddiannu arian.

Mae blodau ieuenctyd yn wir brydferth pan yn troi ac yn ymagor tua Haul y cyfiawnder.

Am y bobl sydd yn gampus i wneyd esgusodion, ni cheir mo honynt yn fedrus i wneuthur unpeth arall.

Byddwch yn ddigon gwrol a difalch i wisgo eich hen ddillad nes i chwi fod yn abl i dalu am ddillad newyddion.

Gwell o lawer i un gael dyn drwg iddo yn elyn nag yn gyfaill.

Y mae cryfder ewyllys Crist yn ymddangos amlycaf yn ei ymddarostyngiad i ewyllys ei Dad.

Pydewau sychion yw ordinhadau crefydd heb i Ysbryd y gras eu llenwi.

Nid yw'r synwyrol yn dywedyd unpeth heb ei feddwl, na'r ffol yn meddwl unpeth heb ei ddywedyd.

Mae cydraddoliaeth ymhlith dynion yn beth nad yw ac nas gall fod. Nid yw yn bosibl i ddau ddyn fod gyda'u gilydd am hanner awr heb i un o honynt arddangos rhagoriaeth ar y llall.

Yr hwn sydd yn aros nes cael hamdden i wneyd llawer o ddaioni ar unwaith, nis gellir dysgwyl iddo ef wneyd daioni o gwbl.

Yr oedd gan Grist ei saint yn mreninllys Nero, ac y mae gan Satan ei weision yn nhŷ yr Arglwydd.

Mae galwedigaeth fydol a gyflawnir mewn ysbryd cristionogol yn troi yn fywyd duwiol.

Judas yn cario'r gôd yw yr hwn sydd wedi myned i bregethu yn unig er mwyn bywioliaeth.

Mae cysur i'w fwynhâu hyd yn nôd yn y dymuniad am wneyd eraill yn gysurus.

Na chondemniwch neb oddiar glywed ei gyhuddo, cyn ei glywed yntau yn llefaru drosto ei hun. Mae dwy ffordd i adrodd pob ystori; ac y mae cyfiawnder yn gofyn i ni glywed yr amddiffyniad yn gystal â'r cyhuddiad.

---

# Bwrdd y Golygydd.

### EPISTOL CYNTAF PEDR.

*At bwy yr ysgrifenwyd ef?*

Yn ein hysgrif flaenorol, buom yn ymofyn â thystiolaethau amgylchiadol. Yn ein hysgrif hon ymofynwn yn fwy â thystiolaeth yr epistol ei hun, ac âg ail epistol yr awdwr. Crybwyllasom yn ein hysgrif flaenorol am arddull yr epistol hwn. Yr hyn a feddyliem wrth hyny oedd nodwedd Hebreaidd defnydd y llythyr, sef gwaith Pedr yn cymeryd safle Hebreaidd, ac yn defnyddio termau a ffurfiau y grefydd Iuddewig i egluro gwirioneddau y grefydd Gristionogol. Gallai ambell un, wrth saernïo beirniadaeth ar hyn, berswadio ei hunan i dybio, gan fod yr awdwr yn Hebrëwr o genedl, ac yn Iuddewaidd o ran dygiad i fyny, ac yn apostol yr enwaediad o ran ei swydd, fod hyny yn llawn ddigon i gyfrif am y nodwedd grybwylledig ar ei epistol. Yr ydym ninnau yn synio yn wahanol, sef fod yr apostol Pedr yn ddigon eang a galluog ei feddwl i gyfarfod â'r Iuddewon ar eu tir hwy, ac â'r Cenedloedd ar eu tir hwythau—eu cyfarfod fel ag yr oeddynt o nodwedd a dull gwahanol o feddwl. Y mae hyn i'w weled yn amlwg wrth ddal dau epistol yr awdwr wyneb yn wyneb. Y mae yn sicr fod yr ail epistol yn gyfeiriedig at *Gristionogion* y gwledydd hyn, gan nad o ba genedl y byddent, sef "at y rhai a gawsant gyffelyb werthfawr ffydd â ninnau." Fel enghraifft o hyn, cymharer y modd y mae yr awdwr yn dwyn y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu i sylw. Yn yr epistol cyntaf, i. 18, dywed, "Gan wybod nad â phethau llygredig, megys arian neu aur, eich prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, yr hwn a gawsoch trwy draddodiad y tadau, eithr â gwerthfawr waed Crist, megys oen difeïus a difrycheulyd." Eglur ydyw fod yr awdwr yma yn cyfeirio at y pryniadau Iuddewig dan y gyfraith seremoniol. Yn yr ail epistol, pan yn cyfeirio at yr un prynedigaeth yn Nghrist Iesu, ii. 1, y mae yn defnyddio cyffelybiaeth wahanol: "A chan wadu yr Arglwydd yr hwn a'u prynodd hwynt;" neu fel y dylid darllen, A chan wadu y Meistr, yr hwn a'u prynodd hwynt. Y gair Groeg am Arglwydd yma ydyw *despotes*, ac nid y gair a ddefnyddir yn gyffredin, *kyrios*. Y mae yr awdwr yma yn cyfeirio at brynu y caethion ymysg y Cenedloedd. Y mae yn myned ymlaen gan ddefnyddio yr un arfer ddealledig i'r Cenedloedd, i'w darbwyllo o dwyll a pheryglon hudoliaeth y gau athrawon. "Ac mewn cybydd-dod, trwy chwedlau gwneuthur, y gwnânt farsiandïaeth o honoch." . . . "Gan addaw rhyddid iddynt, a hwythau eu hunain yn wasanaethwyr [caethweision] llygredigaeth."

Yn y bedwaredd adnod o'r un bennod, y mae yr apostol yn defnyddio y gair *tartarwsas* am y lle y bwriwyd iddo yr angylion a bechasant, ac a gyfieithir uffern genym ni. Y gair a ddefnyddid gan ei Arglwydd a'i gyd-apostolion bob amser ydoedd *gehenna*. Yma mae yr apostol yn gwrthod y gair a ddefnyddid gan yr Iuddewon, ac yn benthyca gair o chwedloniaeth a barddoniaeth y Groegiaid. Yr hyn a olygid ganddynt, yn ol Lucian, ydoedd y tywyllwch tew, dyrfing, ansymudol, a amgylchai y bydysawd. Ymddengys fod y Groegiaid wedi derbyn trwy draddodiad ryw gyfrif am gwymp yr angylion a'u cosbedigaeth, ynghyd a chosbedigaeth dynion drygionus ar ol marw, a galwent le eu poenydfa yn Tartarus. Yma, meddynt, y bwriwyd y cawri a wrthryfelasant yn erbyn Iau. Yma, yn ol Hesiod, y rhwymwyd y Titaniaid mewn cadwynau penydiol, "mor bell islaw y ddaear ag yw y ddaear islaw y nefoedd, canys y cyfryw ydyw y pellder

oddiyno i Tartarus." Tybiai fod y ddaear yn ddiwaelod, a desgrifiai Tartarus fel pwll neu agendor anferth yn ei chrombil: "Tartarus ddu o fewn i eang groth y ddaear." Y cyffelyb ydoedd syniad Homer, canys portreada Iau yn bygwth y duwiau os meiddient gynnorthwyo y Groegiaid neu y Troiaid yn ei erbyn ef:—

"Ymhell, pell eu tafler o Olympus serth,
Yn isel i ruddfan yn y dwfn Dartaraidd bwll;
Y pwll â'r haiarn byrth a'r llawr o bres,
O fewn y ddaear anhyblygol ffin;
Hyrddio mor ddwfn is yr uffernol graidd,
Ag ydyw 'r craidd is y nwyfreol fyd.
Un haul ni eura byth y dychryn certh,
Na 'r awyr swrth ni fywir gan un chwa,
Ond gorestyna 'n gylch Tartarus ddu."

Y mae yn amlwg fod Pedr yn cyfaddasu y gwirionedd, o ran ei arddull, i gyfateb i ansawdd deall y rhai yr ysgrifenai atynt; ac felly, yn gymaint a bod y Cenedloedd hyn yn fwy hysbys o bortreadau a delweddau eu beirdd eu hunain nag o bortreadau a delweddau Iuddewiaeth, y mae efe yn defnyddio delfrydau eu beirdd a'u chwedlau i geisio eu cyffroi i fwy o yni, ymddiried, a sefydlogrwydd Cristionogol. O ddiffyg talu sylw i'r gwahaniaeth hwn yn ansawdd meddwl a deall y personau gwahanol yr ysgrifenai Pedr atynt, y mae amryw wedi llithro i ammheu dilysrwydd ac awduriaeth yr ail epistol hwn. Y mae hyn hefyd yn cyfrif am y gwahaniaeth yn y modd y mae yr awdwr yn argymhell ei hun yn nechre y llythyr hwn fel *caethwas* Crist, a'r modd gwahanol y mae yn dybenu ei lythyr, sef gan roi heibio yr arddull Hebreaidd o fendith ymadawol a ddefnyddiodd yn niwedd y llythyr cyntaf, y mae yn defnyddio dull mwy eang, mwy tebyg i ddull Apostol y Cenedloedd.

Bellach ni a ymofynwn â thystiolaethau uniongyrchol yr Epistol Cyntaf ei hun.

Yn ol yr adnod gyntaf ynddo, y mae yr epistol wedi ei anfon at "etholedig ymdeithwyr y wasgarfa," &c. Amlwg ydyw fod yr ansoddair diweddaf yn cyfyngu ac yn penderfynu ystyr yr enw,—ymdeithwyr. Meddwl y gair ymdeithwyr ydyw rhai yn byw neu yn preswylio mewn gwlad estronol. Nid ydyw yr apostol yma yn cyfarch pob ymdeithwyr, ond *etholedig* ymdeithwyr, ac nid yr holl ymdeithwyr etholedig, ond etholedig ymdeithwyr *y wasgarfa.* Defnyddid y gair diweddaf fel enw cryno ar yr holl Iuddewon ag oedd ar chwâl yn Asia a gwledydd eraill er amser y gaethglud Assyriaidd a Babilonaidd. Y mae i'w gael, heblaw yma, yn y lleoedd a ganlyn—Iago i. 1; Ioan vii. 35; ac yn yr Apocrypha yn 2 Mac. i. 27. Yn yr holl leoedd hyn mae yn golygu yr Iuddewon; ac y mae fod y fannod *y* o'i flaen gan Pedr yma yn amlwg yn golygu fod iddo ystyr fwy neillduol nag fel ansoddair yn unig.

Eto, "Bydded eich ymarweddiad yn onest ymysg y Cenedloedd," pen ii. 12. Amlwg ydyw fod yr awdwr yn yr ymadrodd yma yn golygu y rhai yr ysgrifenai atynt yn bobl wahanol i'r Cenedloedd.

Yr ydym bellach wedi dwyn ymlaen fwy neu lai o dystiolaethau cryfion, o dri dosbarth neillduol, i brofi ein sail i wahaniaethu oddiwrth Mr. Williams ac eraill yn y mater bychan hwn,—sef tystiolaethau amgylchiadol, tystiolaethau cymhariaethol, a thystiolaethau uniongyrchol.

Yn awr cymerwn olwg ar y testynau y cyfeiria ein cyfaill atynt fel rhai yn cadarnhâu ei olygiad ef. Pen. i. 14. "Heb gydymagweddu â'r trachwantau o'r blaen yn eich anwybodaeth," neu, trachwantau blaenorol eich anwybodaeth. Y mae yr apostol yn cyfeirio at eu trachwantau fel tyfiant naturiol eu hanwybodaeth i beri i'w fynegiad fod yn llai tramgwyddus iddynt Gwnaeth hyn hefyd yn ei bregeth ar ddydd y Pentecost. Ar ol eu cyhuddo o wadu y Sanct a'r Cyfiawn, ac o ladd Tywysog y bywyd, y mae yn tyneru yr achwyn ofnadwy hwn trwy ddywedyd, "Mi a wn mai trwy anwybod y gwnaethoch." Yr oedd yr Iuddewon wedi eu dysgu fod pechodau anwybodaeth yn fwy maddeuadwy na phechodau yn erbyn argyhoeddiad.

Pen. ii. 9, 10. Y mae y rhan gyntaf o'r nawfed adnod yn amlwg berthyn i'r Iuddewon, Exod. xix. 6; ac y mae y *tywyllwch* yn y rhan olaf o honi yn arwyddlun naturiol, a ddefnyddid yn gyffredin i arddangos anwybodaeth dyn o Dduw, ac felly goleuni am wir wybodaeth o hono Ef, Ioan viii. 12; Act. xxvi. 18. Y mae y ddegfed adnod yn amlwg yn cyfeirio at blant Gomer, Hosea i. ii. Dammeg ydynt o bechod ac edifeirwch Israel.

Pen. iii. 6. Y mae y chwech adnod cyntaf yn y bennod hon yn cynnwys annogaeth i'r gwragedd fod yn ostyngedig i'w gwŷr priod; yn benaf gwragedd yr oedd iddynt wŷr anghredinìol, fel y gellid trwy iawn ymddygiad y gwragedd ennill y gwŷr. Wedi nodi y pethau peryglus ag oedd yn ffynu ymysg y gwragedd, gan gymhell arnynt y rhinweddau cyferbyniol, y mae yn attegu ei annogaeth iddynt âg esiamplau gwragedd sanctaidd yr hen amserau, gan nodi Sara, yr hon oedd dywysoges y gwragedd yn nghyfrif yr Iuddewon, a'u mam hwy oll, ac fel y cyfryw yn ymffrost eu gwragedd; ond nid felly i'r Cenedlddyn. Y mae rhan olaf yr adnod yn cael ei ddwyn i mewn, mae yn amlwg, fel cymhelliad i efelychu esiampl Sara. I rai nad ydoedd hi yn ymffrost ganddynt, pa gymhelliad iddynt ydoedd cael bod yn ferched iddi? Y mae mynegiad yr apostol yma yn ymddangos i mi yn gymhwys ar yr un egwyddor â mynegiad ei Arglwydd, Ioan viii. 39: "Pe plant Abraham fyddech, gweithredoedd Abraham a wnaech." Felly y rhai sydd yn ferched i Sara ydynt y rhai sydd yn gwneyd gweithredoedd Sara. Yn ofer yr ymffrostiwch yn eich perthynas â Sara oddieithr eich bod yn gwneuthur yn dda.

Pen iv. 3. Yr ydwyf wedi defnyddio yr adnod hon o'r blaen fel prawf dros dybio yn wahanol i Mr. Williams; ac y mae yr adnod sydd yn ei dilyn, i'm tyb i, yn cyfreithloni y defnydd a wnaethum o honi. "Yn yr hyn y tybiant (y Cenedloedd) yn ddyeithr nad ydych chwi (yr Iuddewon Cristionogol) yn cydredeg i'r unrhyw ormod rhysedd." Yn ddiammheu pe buasai yr awdwr yn cyfeirio y mynegiad hwn at ddychweledigion Cen-

edlig, buasai yn geirio yn fwy tebyg fel y gwnaeth Paul yn Ephes. iv. 17—24: "Na rodioch chwi mwyach fel y mae y Cenedloedd *eraill* yn rhodio," &c.

J. PARRY.

*Llanarmon.*

---

Y DECHREUWYR CANU.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR,—Fe allai y byddwch cystal a rhoi lle i lythyr neu ddau, i mi draethu fy syniadau ar rai pethau mewn cysylltiad â phwnc pwysig, ïe, y pwysicaf ar hyn o bryd mewn cysylltiad â gwasanaeth y cysegr, sef canu mawl. Y mae llawer o son am aneffeithiolrwydd gweinidogaeth y gair, a hyny yn benaf, meddir, oblegid bychander cyrhaeddiadau y pregethwyr. Ond edrychaf fi ar hyn o bryd am ddiffyg dylanwad y weinidogaeth i ryw achos arall, sef o ddiffyg trefniadau gweddus gan yr eglwys ei hunan. Y mae pob cymdeithas yn arwain ac yn cynnal ei chyfarfodydd yn fwy trefnus ac yn fwy urddasol nag y mae eglwysi y Methodistiaid, fel rheol, yn cynnal eu cyfarfodydd hwynt. Eithr un peth yn unig y bwriadaf gyfeirio ato y tro hwn, hyny yw, y "mawl" a roddir gan nifer amlaf eglwysi y Methodistiaid, neu, hwyrach y byddwn yn gywirach wrth ddyweyd, y tryblith o dônau ac o seiniau aflafar a fwrir megys ar allor tŷ yr Arglwydd yn foliant iddo ef.

Y mae yr achos o hyny, yn ol fy syniad i, yn codi o anfedrusrwydd ac annoethineb y dechreuwyr canu. A chyda'ch cenad, barchedig syr, yr wyf yn anfon anerch at ddechreuwyr canu anghelfydd yn yr holl wlad, gan ddymuno arnynt gredu nad ydwyf yn hollol anghymhwys i roi anerchiad iddynt, ac hefyd mai gogoniant yr Arglwydd sydd genyf mewn golwg.

Y mae llawer o honoch mewn oedran; ac am hyny dylech feddu digon o ddoethineb i wrando cynghor a chymeryd addysg. Yr ydych yn gwybod fod y cymhwysder i ddechre canu yn yr addoliad Dwyfol, er mwyn gwneyd hyny yn chwaethus, yn gofyn llafur mawr, a dyfalbarhâd mewn ymdrech i gyrhaedd gwybodaeth gerddorol, a dyweyd y lleiaf, cyfartal i wybodaeth pob cerddor yn yr eglwys. Yn ein dyddiau ni, oferedd i unrhyw un ddysgwyl bod yn llwyddiannus fel dechreuwr canu heb fedru darllen cerddoriaeth yn dda. Rhaid iddo fod yn lleisiwr da, â chwaeth dda ganddo, ac, uwchlaw y cwbl, ei fod wedi yfed yn helaeth o'r ysbryd sydd yn yr hymnau a genir. Peth arall angenrheidiol yw synwyr cyffredin—nwydd sydd, ysgatfydd, yn hynod o brin ymhlith cerddorion.

Yr wyf yn adnabyddus â nifer mawr o honoch; ac y mae yn ddrwg genyf fy mod yn gorfod barnu yn ddiammheuol nad yw llawer o honoch yn gymhwys i lanw y swydd bwysig yr ydych yn para i'w dal, serch y gwyddoch fod yn eich heglwysi rai a allent wneyd y gwaith yn llawer gwell na chwi, ac y dylech ddirnad nad yw y canu, o dan eich harweiniad chwi, *yn* foliant i'r Arglwydd. Onid ydych yn deall na chafodd yr Arglwydd er ys blynyddoedd aberth moliant gan y gynnulleidfa y proffeswch chwi ei harwain, ac mai chwychwi yw yr achos o'r diffyg pwysig yna? Dyma fy nghynghor i bob un o honoch sydd heb y cymhwysder anghenrheidiol,—ymddiswyddwch yn anrhydeddus, gan roi lle i'ch gwell; ac oni wnewch, fy nghynghor i i'ch heglwysi yw—ar iddynt benodi rhai cymhwys i arwain y canu yn eich lle.

Y mae ambell un yn barod i ddyweyd y byddai helynt fawr o wneyd hynyna. Nid wyf yn credu hyny. Y mae digon o bwysau yn y "Corff" i allu dal triniaeth o'r fath. Ac, heblaw hyny, y mae yn anmhosibl symud y drwg heb symud yr achos o hono; a'r achos o'r drwg hwn, meddaf fi, yw y dechreuwr canu. A raid i ni fyth a hefyd fod yn rhy dyner i weinyddu cyfiawnder ar anghymhwysder swyddol? Pa un yw y pwysicaf, ai bod y canu yn fawl gweddus i'r Goruchaf, ac yn orfoledd i'w bobl, ai bod heb fawl yn yr eglwys er mwyn cadw yr anghelfydd a'r annoeth yn arweinydd y gân, a hyny am yr unig reswm ei fod yn y swydd er ys llawer o flynyddoedd? Y mae rhai pobl yn myned mor bell â dyweyd nad yw doethineb wedi medru y ffordd i sêdd y cantorion. Beth bynag am wirionedd hyny, y mae hyn yn ddigon gwir—fod annoethineb mawr yn cael ei arfer gan ddechreuwyr canu. Yr oeddwn i mewn Cymdeithasfa amser yn ol, pryd y daeth yr annoethineb yn deimladwy gan yr holl gynnulleidfa. Yr oedd y pregethau yn rhagorol, a'r hymnau yn swynol, ond yr oedd y tônau yn hynod o'r anmhriodol. Yr oeddynt yn dônau da, bid siwr; ond yr oedd llawer o'r gynnulleidfa heb allu eu canu. I mi, y syniad o Gymdeithasfa yw, fod pawb yn cydganu, yn cydweddïo, yn cydwrando, ac y dylai pawb ymdrechu am y cydweithrediad llwyraf; yna byddai lle i ddysgwyl bendith. Y mae Cymdeithasfa yn gydgasgliad o bobl o wahanol gymydogaethau; ac y mae genym rai tônau sydd yn hysbys ymhob cymydogaeth; a'r rhai hyny yn unig a ddylid eu rhoi allan mewn Cymdeithasfa, serch eu bod yn salwach tônau.

Disynwyr yw canu emyn ar ei hyd os na bydd gan bob un Lyfr Hymnau; a buaswn i yn awgrymu i'r pregethwyr roi yr hymnau allan *bob dwy linell*, os na bydd Llyfr Hymnau gan y gynnulleidfa. Y pwnc mawr yw cael pawb i ganu; a byddai yn welliant rhoi emynau allan mewn Cymdeithasfa sydd yn hollol adnabyddus.

Fe allai mai digon hynyma ar hyn o bryd, ac y bydd rhywrai yn barod i ymddigio am fy hyfdra hwn. Ni ddysgais wenieithio, a rhydd i feddwl ei lafar; a chymered eraill eu rhyddid gyda r pwnc hwn megys myfi. Os ymholir pwy ydwyf, dywedaf mai nid newyddian o oedran, ac nid dechreuwr canu; eto galwaf fy hun yn

UN O FEIBION ASAPH.

### "TYRED FEL YR WYT."

BARCHUS OLYGYDD,—Da yr ydwyf yn cofio y diweddar Barch. Cadwaladr Owen o Ddolyddelen ryw nos Sabboth yn Abermaw yn defnyddio brawddeg ein testun, pan yn pregethu oddiar y geiriau, "Yr hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim." Dywedai ei fod ef yn teimlo galwad yr Iesu ar bechadur yn ngeiriad y testun, "Yr hwn," yn gryfach ac yn llawer mwy calonogol a chymhelliadol iddo ef na phe buasai yn cael ei enw Cadwaladr Owen, Dolyddelen. Cawsai y gelyn well mantais i'w faeddu, ac anghrediniaeth i'w aflonyddu, a gwaeddi mai rhyw Cadwaladr Owen, Dolyddelen arall, ydoedd, yn America, neu mewn rhyw wlad arall tu draw i'r môr, mewn golwg. Ac yna dywedai, gan ddyrchafu ei lais mewn bloedd hwyliog, "Bendigedig, a Gogoniant am alwad yr Iesu ar bechadur yn ngeiriau y testun, 'Yr hwn a ddêl ataf fi nis bwriaf ef allan ddim.'" Cymhellai gyda thaerineb ac arddeliad mawr y rhai oedd heb wneyd proffes o'r Iesu i wneyd heb oedi, gan chwalu eu hesgusodion a chan wasgu atynt, "Tyr'd fel yr wyt ti." Cyrhaeddodd galwad yr Iesu trwy ei was y nos Sabboth hwnw yn Abermaw un o hen wrandäwyr mwyaf cyson a pharchusaf y Methodistiaid, sef Capten Thomas Martyn, yr hwn ydoedd ar y pryd dros ei bedwar ugain oed. Arosodd yn ol yn y *society* ar ol y bregeth; a mawr oedd y llawenydd o'i weled gan yr eglwys, a rhoddwyd deheulaw cymdeithas iddo. Ymddyddanwyd ychydig âg ef gan un o'r hen flaenoriaid. Adroddai yntau pa fodd y gorchfygwyd ef. "Clywais," meddai, "Iesu Grist yn y bregeth heno yn fy ngalw, ac yn dyweyd wrthyf, 'Tyr'd fel yr wyt ti, Thomas Martyn, yn hen bechadur.' Rhyfedd," meddai, gan ychwanegu, "ei fod wedi fy ngalw i!" Galwai ei hun yn hen *rebel* yn aml, a rhoddai enwau bryntion arno ei hun wrth weled a meddwl fod ei hir ddyddiau bron cyrhaedd y terfyn cyn iddo ymostwng i alwadau yr efengyl. Ystyriai efe nad oedd ei oes hir yn deilwng o'i chyfrif ond o'r amser y gwnaethai broffes o Iesu Grist. Bu byw i dystio proffes dda o'i Waredwr am oddeutu pedair blynedd. Cafodd yn y diwedd ei ollwng mewn tangnefedd, â'i lygaid yn gweled iachawdwriaeth yr Arglwydd.

Gyda phriodoldeb y byddaf yn edrych ar groniclo dygwyddiadau hynod ynglŷn â chrefydd yn ein gwlad. Diammheu y gellir dyweyd am y mwynaidd efengylydd, y diweddar Cadwaladr Owen, "A llawer a droes efe at yr Arglwydd."

TIMOTHEUS.

*Pantzeinion.*

---

### PROSCAIRON, NEU ROEG A CHYMRAEG.

ANWYL SYR,—Yn y *Cyfaill* (America) am y mis diweddaf, y mae darlun o'r Parch. Thomas H. Roberts, Proscairon, Wisconsin, ynghyda phregeth iddo. Ac ynglŷn â'r bregeth, ceir y sylwnod canlynol gan y Golygydd, y Parch. William Roberts, D.D., Utica:

"O bosibl mai ychydig iawn o ddarllenwyr y *Cyfaill* sydd yn deall ystyr y gair *Proscairon*, a pha fodd y cafwyd ef. Pan oedd yr hen frawd duwiolfrydig, Hugh Roberts, tad y Parch. Thomas H. Roberts, ar ymadael o'r hen wlad am y wlad newydd, America, cyfarfyddodd â'r Parch. Dr. Owen Thomas, Liverpool, a gofynodd iddo, 'Pa enw a roddaf fi ar y fan y caf roddi fy mhabell i lawr, os cymer hyny le?' "Wel,' ebe y Doctor, 'gelwch ef *Proscairon*.' 'Beth yw hyny?' gofynai Hugh Roberts. "Wel,' ebe y Dr., '*Kairon* yw ARGLWYDD, a *pros* yw tuag at, neu ar ol yr Arglwydd. Gair Groeg yw.' 'Da iawn ebe,' yr hen gristion, 'yr ydw i yn leicio hwnyna; yr Arglwydd yn myned o fy mlaen, a minnau yn myned ar ei ol. Dyna fydd enw y lle, PROSKAIRON—*ar ol yr Arglwydd*.' Rhywbeth tebyg i hynyna oedd yr ymddyddan rhyngddynt. Hysbyswyd ni o'r ffaith hon gan Dr. Thomas ei hun pan oeddym yn Liverpool yn y fl. 1874."

Dygwyddodd i mi gyfarfod a chydymddyddan â Dr. O. Thomas, ar ol iddo ef weled y nodiad yn y *Cyfaill;* ac nis gallai lai na dywedyd fod yr hyn a adroddir yna yn gamddarluniad dybryd, a deallais ei fod yn awyddus am i gywiriad ymddangos yn y *Drysorfa;* ac, yn wir, mi dybygwn i y dylid gwneyd hyny pe na byddai ond er mwyn enw da Dr. Thomas am ysgoleigdod.

Fel y canlyn yr oedd efe ei hun yn adrodd. Pan yn pregethu rywdro, er ys llawer iawn o flynyddoedd, yn ardal Llanberis, yr oedd efe yn crybwyll y geiriau, os nad mai hyny oedd y testun, "Mwyniant pechod *dros amser*." Sylwai mai nid yr ystyr gyffredin i'r gair "amser" a geid yno, ond fod y gair yn golygu *tymmor* neu *adeg*. Yr oedd yn gwrando ar y pryd un o'r enw William Hughes, gŵr ieuanc crefyddol, ag oedd â'i fryd ar bregethu; ac wedi myned allan, efe a ofynodd i Dr. Thomas beth oedd yr ymadrodd yn y Groeg. Atebai yntau, "Yr wyf yn meddwl mai *proskairon* ydyw." "O yn wir!" meddai W. Hughes; "yr ydym ni yn adeiladu tŷ newydd; ac fe wna enw da iawn ar dŷ." Ac y mae yn ymddangos y galwyd enw'r tŷ newydd felly. Priododd William Hughes ferch i'r Hugh Roberts y crybwyllir am dano yn y *Cyfaill*, tad y Parch. Thomas H. Roberts, a'r hwn a aeth wedi hyny i'r America. Pan yr oedd efe ar fyned o'r wlad hon i'r America, Dr. Thomas a ddywedodd wrtho mewn ymddyddan, "Wel, cofiwch yno am enw tŷ eich mab yn nghyfraith: Proskairon, — *dros amser*." Ac y mae yn ymddangos i'r henwr da roddi yr enw ar ei drigfa wedi myned dros Fôr y Werydd, ac mai dyna bellach yw enw'r gymydogaeth yno.

Yr oedd camgymeryd ARGLWYDD am *amser*, rhoddi *Kairon* yn lle *Kurios*, yn rhywbeth tra chwithig, ac yn gwbl anmherthynol i'r mater yr oedd W. H. yn ymholi, a Dr. T. yn ateb, yn ei gylch.—Yr eiddoch, &c.,

G. E.

# Y Wasg.

DALEN O LYFR BYWYD. *Gan* T. HUMPHREYS, *Lily House, Treffynnon.* Ail Argraffiad gydag Ychwanegiadau.

Treffynnon: P. M. Evans and Son (dros yr Awdwr).

CYFANSODDIADAU barddonol, oddigerth un cyfansoddiad ar yr Ysgol Sabbothol, a geir ar y *Ddalen* neillduol hon; ac y mae yr ail argraffiad o honi yn dangos y cafodd yr argraffiad cyntaf ei dderbyn yn groesawus. Yn y "Rhagdraeth" gan y gŵr call hwnw, y diweddar Barch. H. Pugh, Mostyn, dywedir, "Nid yw Mr. Humphreys yn hòni yr anrhydedd o fod yn fardd; ac nid yw yr ysgrifenydd yn hòni yr anrhydedd o fod yn feirniad barddoniaeth. Pa faint bynag o farddoniaeth gelfydd a ganfyddir yn y llinellau a ganlyn, cynnwysant, fodd bynag, wir enaid barddoniaeth, sef teimlad. Barddoniaeth heb deimlad sydd fel corff heb fywyd—oer a diserch." Ceir cyfarchiadau i'r gwaith gan amryw feirdd adnabyddus, ac yn eu mysg dri englyn gan y prif-fardd *Hiraethog*, yr olaf o ba rai a ddywed,

"Meddyliwch am y *Ddalen*—heb anair
Derbyniwch hi 'n llawen;
Dowch ar ffrwst â swllt di sèn,—
Naws hyfryd, mae 'n werth sofren."

Wedi y fath dystiolaeth gan y fath feirniad cymhwys, afreidiol yw i ni ymhelaethu; "canys beth a wnai y dyn a ddeuai ar ol y brenin?" Ceir yma amrywiaeth materion a mesurau, rhai cyfieithiadau i'r Saesoneg gan gyfeillion, a phennillion tlysion cyfaddas i'r cysegr. Y mae'r llyfr wedi ei wneyd i fyny yn hardd oddifewn ac oddiallan; ac nid gormod yw gobaith gostyngedig yr awdwr, "y caiff y darllenydd rywfaint o ddifyrwch, a rhyw gymaint o lesâd."

---

*Hand-Books for Bible Classes. The Westminster Confession of Faith. With Introduction and Notes by the Rev.* JOHN MACPHERSON, M.A., *Findhorn.*

Edinburgh: T. & T. Clark.

YR ydym wedi galw sylw eisoes at amryw o'r llyfrau yn nghyfres llaw-lyfrau Clark i Ddosbarthiadau Biblaidd; a dyma eto lyfr gwerthfawr, pris dau swllt, sydd wedi ei gyhoeddi yn un o honynt. Mae Cyffes Ffydd Westminster wedi cyrhaedd enwogrwydd er ys oesau bellach ymhlith Calfiniaid yn gyffredinol, gan ei fod, fel y dywed Mr. Macpherson, yn un o'r cyffesion cywiraf a thecaf, os nid y mwyaf felly, "yn ei fynegiad o Galfiniaeth ddiledryw, —nid fel rhai, yn gadael allan un gwirionedd hanfodol, nac, fel eraill, yn gadael i mewn yr hyn a allesid yn dda ei adael allan." Hawdd gweled fod y brodyr a'r tadau yn ein Cyfundeb ni, wrth gyfansoddi erthyglau ein Cyffes Ffydd, yn hen gydnabyddus â Chyffes Westminster, ac yn ddyledus iawn iddi am fater ac am ddull y rhan fwyaf o'n herthyglau. Yma, yn yr arweiniad i mewn, ceir pennodau addysgiadol ar le ac amcan Cyffesiadau Ffydd, cyffesiadau boreuaf Eglwys Scotland, a Chyffes Westminster yn neillduol, lle y rhoddir hanes cryno am Gymanfa Westminster, ac yr eglurir nodwedd neillduol ei Chyffes. Dilynir pob erthygl â sylwadau eglurhäol a chadarnhäol, mewn modd syml a chynnwysfawr; a chyfeirir at lyfrau addysgiadol ar yr amrywiol faterion. Pwy bynag a fynai fod yn dduwinydd cryno a pharod, darllened yn ddyfal, ac astudied yn dda, yr *Hand-book* hwn.

---

*Chwedl Gymreig.* YR ENETH AMDDIFAD, *gan* JOHN JONES, *Tabernacl.*

Blaenau Ffestiniog: Hughes, Cyhoeddwr; Jones a Roberts, Argraffwyr.

MAE llawer *Tabernacl*, yn gystal a llawer John Jones, yn Nghymru, ac yn Ngogledd Cymru. Ond y Tabernacl yn Mlaenau Ffestiniog, lle y mae y Parch. T. J. Wheldon, B.A., yn gweinidogaethu, yw yr un a enwir uchod; ac, os ydym yn iawn gofio, y mae John Jones, awdwr y llyfryn ger ein bron, yn un o flaenoriaid teilwng yr eglwys yno. Mewn cystadleuaeth leol, yn y Llechwedd, mewn cyfarfod yn y fl. 1879, a elwid "Eisteddfod y Llechwedd," barnwyd Chwedl yr Eneth Amddifad yn fuddugol.

Dywed yr awdwr mai y nôd y bwriadai efe ei gyrhaedd oedd, rhoddi argraff ar feddwl y darllenydd fod Duw yn ei ragluniaeth yn profi gwirionedd yr addewid o fod yn Dad i'r amddifad. Ac nid oes dim yn ei chwedl yn annaturiol ac annhebygol. Gallem gredu i ddygwyddiadau o'r fath ag a adroddir yma, hysbys i'r ysgrifenydd, gymeryd lle—y peth yma am hwn neu hon, a pheth arall am un arall—ac i'r cyfaill o'r Tabernacl eu casglu ynghyd, a'u cysylltu â llinyn ei ddychymyg, ac felly eu rhwymo gyda'u gilydd wrth yr eneth Gwen Llwyd. Mr. Spurgeon a ddywed, "Cyhyd ag y bydd pobl ieuainc yn ymhyfrydu mewn ystoriau, ac y mae yn debyg y bydd hyny cyhyd ag y byddo

lleuad, bydd yn dda iddynt gael eu diwallu â ffrwyth pur ac iachus oddiar bren chwedleuaeth." A gellir dywedyd yn ddibetrus fod yr ansoddau hyny, "pur ac iachus," yn perthyn i'r chwedl hon.

Ni a dybygem, oddiwrth rai pethau yn nullwedd yr ysgrifen, nad yw Mr. Jones wedi bod yn rhy gyfarwydd â pharotoi i'r wasg; ond ymarferiad a wna un yn feistr ar ei waith, medd yr hen air; ac hwyrach y dylasai yr argraffwyr ofalu yn fanylach am roddi gofynnod ar ddiwedd amryw frawddegau, ac am rai attalnodau ereill. A pha un ai yr awdwr ai y cysodydd sydd yn gyfrifol am enw "y duw Sicmus," i freichiau yr hwn, meddir, yr oedd teulu y *workhouse* wedi syrthio y noswaith y torodd tân difäol yno? Yr oedd gan yr hen baganiaid eu *Morpheus* neu *Somnus* fel duw cwsg; ond nid ydym yn cofio i ni glywed am *Sicmus*. Pa fodd bynag, caiff y darllenydd hyfrydwch, a chryn adeiladaeth, wrth ddarllen chwedl syml yr Eneth Amddifad.

---

GEMAU Y BEIRDD, *yn cynnwys rhai o Brif Weithiau Prif-Feirdd Cymru, o Ddyddiau D. ap Gwilym hyd yn bresennol. Detholedig, gyda sylwadau am yr Awdwyr, gan* H. CERNYW WILLIAMS, *Corwen.*

Corwen: T. Edmunds.

ER y dywed y Detholydd yn y Rhagymadrodd nad oedd efe yn gwybod fod genym un casgliad o'r fath yn flaenorol, gwelsom ni dri neu bedwar casgliad o weithoedd barddonol wedi eu cyhoeddi; ond nid anhawdd yw i ni ddywedyd na welsom yr un yn cynnwys cymaint o amrywiaeth, a'r oll mor rhagorol, ag a geir yn *Ngemau y Beirdd.* "Gemau" mewn gwirionedd a gasglwyd ac a gyfleuwyd yma ynghyd, mewn cylch cryno a hylaw. Ni wiw i ni ddechre dethol allan o'r fath gyflawnder o ddetholedigion. Caiff y darllenydd bleser yn eu darllen; ac os ceidw efe ddarnau o honynt yn ei gof, byddant iddo yn hwylus i egluro a grymuso lliaws o syniadau a chymhelliadau daionus. Yn wir, gall ein brodyr yn y weinidogaeth, sydd yn fedrus am ddyfynnodi ac adrodd, gael yma amledd o linellau a fyddent yn debyg o beri i'w mater daro yn nerthol ar glust y gwrandäwr. Ac mewn cyfarfodydd llenyddol a chystadleuol, gall y *Gemau* wasanaethu yn y modd mwyaf deheuig.

Tra y mae'r gwaith hwn yn gyflawn ynddo ei hun, rhoddir ar yr amlen, *Rhif. I.*, a dywedir wrthym, "Bwriedir cyhoeddi ail rifyn o'r *Gemau*, yr un ffurf a phris â'r rhifyn presennol, ond nid yn cyfyngu y detholion i waith beirdd ymadawedig, eithr i'r gwrthwyneb—yn cymeryd y nifer lliosocaf o waith beirdd ydynt yn awr yn fyw." Gobeithio y caiff y gweinidog a'r bardd, Hywel Cernyw, y cefnogiad angenrheidiol, oddiwrth werthiad y rhan hon, i ddwyn allan yn fuan yr ail ran.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

---

### CYMDEITHASFA LLANGOLLEN,

TACHWEDD 30AIN A RHAGFYR 1AF A'R 2IL, 1881.

---

LLYWYDD,—Y Parch. DANIEL ROWLANDS, M.A.

---

*(Parhâd o tu dalen 31.)*

*Adroddiad a ddarllenwyd yn Nghyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch, Tachwedd 30ain.*

MEWN Cyfarfod o Gyfeisteddfod Unedig y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, a gynnaliwyd ynglŷn â Chymdeithasfa Llangollen, Tachwedd 29, 1881.—Yn bresennol:—Dros yr Achosion Seisonig:—John Roberts, Ysw., A.S. (Trysorydd), Parchn. J. R. Hughes (Caergybi), P. W. Jones (Penygroes), D. E. Davies (Pwllheli), H. B. Williams (Wrexham), E. Jerman (Wrexham), Mri. Thomas Roberts (Dinbych), D. P. Davies (Bodhyfryd), Robert Thomas (Penmachno), Joseph Owen (Machynlleth), John Jones (Ashlands), a R. Williams (Drefnewydd).—Dros y Genadaeth Gartrefol:—David Roberts, Ysw., David Hughes, Ysw., Parch. John Thomas, B.A. (Liverpool), Mri. Thomas Lewis (Bangor), E. T. Jones (Dinbych), W. Evans (Caerlleon), Hugh Jones (Penrhyndeudraeth), John Davies (Salford), Robert Jones (Pwllheli), W. Roberts (Llanrwst), ac E. Griffith (Trysorydd).—Dewiswyd John Roberts, Ysw., A.S., yn Llywydd.—Hysbyswyd fod y Parch. P. W. Jones wedi ei ddewis i gynnrychioli Arfon am y tro ar y Cyfeisteddfod ar ran yr Achosion Seisonig yn lle Mr. J. Price.—Penodwyd Mr. Thomas Lewis i gydweithredu fel Ysgrifenydd am y tro dros y Gymdeithas Genadol Gartrefol, a Mr. R. Williams dros yr Achosion Seisonig.—Darllenwyd Cofnodau Cymdeithasfäoedd Dolgellau a Llanidloes mewn perthynas i benodiad Goruchwyliwr neu drefniad cynllun er cael arolygiaeth ar orsafoedd y Genadaeth a'r Achosion Seisonig, ynghyd ag atebion a dderbyniwyd o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau ar y pwnc.—Darllenwyd llythyr oddiwrth yr Ysgrifenydd yn dadgan ei ofid am nas gallai fod yn bresennol o herwydd sefyllfa ei iechyd; ac er

y teimlai ei hun yn alluog i wneyd yr hyn a wnaethai y llynedd, sef parotoi yr Adroddiadau, &c , gyda'r cynnorthwy a gafodd y pryd hyny, nas gallai ymgymeryd â theithio i wneyd casgliadau, neu arolygu y gorsafoedd o achos gwaeledd corfforol. Penderfynwyd fod y Cyfeisteddfod yn derbyn gyda galar yr hysbysiad o analluogrwydd yr Ysgrifenydd, y Parch. Joseph Jones, i gyflawni cyflawn waith Ysgrifenydd y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, ond ein bod yn dymuno arno dderbyn y gydnabyddiaeth sydd yn gysylltiedig â'r ddwy swydd hyd Fehefin nesaf, gan ei adael i'r Cyfeisteddfod yn eu Cyfarfod Blynyddol i ystyried ymha fodd y gallant yn oreu gydnabod ei wasanaeth maith a ffyddlawn gyda'r ddau achos.—Penderfynwyd fod dau Ysgrifenydd i gael eu penodi, sef un dros y Genadaeth Gartrefol, ac un dros yr Achosion Seisonig:—Fod Ysgrifenydd yr Achosion Seisonig i fod yn bresennol yn holl gyfarfodydd y Cyfeisteddfod, i gymeryd i lawr y Cofnodau a'u hysgrifenu mewn llyfr, i barotoi yr Adroddiadau, cario ymlaen bob gohebiaeth, a chyflawni y dyledswyddau arferol eraill cysylltiedig â swydd Ysgrifenydd—ei fod i ymweled â'r gwahanol Gyfarfodydd Misol o leiaf unwaith bob blwyddyn er sicrhâu eu cydweithrediad â'r achos, ac i ymdrechu ychwanegu at y casgliadau trwy ffurfio trefniadau effeithiol yn y Cyfarfodydd Misol a thrwy appeliadau uniongyrchol at bersonau unigol—ei fod i ymweled â'r holl leoedd sydd yn derbyn *grants* o leiaf unwaith yn y flwyddyn, a chofnodi yr ymweliadau hyny mewn Dyddlyfr, a gwneyd Adroddiad gofalus mewn perthynas i bob lle i'r Cyfeisteddfod cyn Cymdeithasfa Mehefin —ei fod i ymgymeryd â'i swydd ar y laf o Ionawr nesaf—fod cyflog o £40 y flwyddyn ynghyd a'i gostau teithio i gael eu talu iddo —fod y penodiad i'r swydd i gael ei wneyd yn flynyddol yn Nghymdeithasfa Mehefin—fod y Parch. Lewis Ellis yn cael ei benodi i'r swydd—fod Mri. D. P. Davies, Thomas Roberts, Dinbych, R. Williams, Drefnewydd, a'r Trysorydd, yn cael eu penodi yn Is-Bwyllgor i'r Ysgrifenydd ymgynghori â hwy mewn materion o bwys.—Fod Ysgrifenydd y Genadaeth Gartrefol i arolygu yn fanwl yr holl orsafoedd Cenadol ac i ymweled â hwynt unwaith o leiaf yn y flwyddyn, a chario ymlaen bob gohebiaeth cysylltiedig â'r achos—ei fod i ymweled â phob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth i ddadleu teilyngdod yr achos, ac i arfer pob moddion a allo yn gyhoeddus a phersonol i ychwanegu cyllidau y Gymdeithas—ei fod i gadw Dyddlyfr o'i holl ymweliadau â'r gorsafoedd · ei fod i gyflwyno Adroddiad Blynyddol o ansawdd yr achos yn yr holl orsafoedd, ynghyd a'r Cyfrifon Arianol —ei fod i gadw Cofnodau o weithrediadau Cyfeisteddfod y Genadaeth mewn llyfr—ei fod i dderbyn cyflog o £40 yn y flwyddyn, ynghyd a'i gostau teithio; fod y flwyddyn i ddechre y laf o Ionawr, a bod y dewisiad i gymeryd lle bob blwyddyn yn Nghymdeithasfa Mehefin—fod y Parch. Robert Davies, Amwythig, yn cael ei benodi i'r swydd—fod Mri. Jacob Jones, E. T. Jones, William Evans, a'r Trysorydd, i barhâu fel Is-Bwyllgor hyd Gymdeithasfa Mehefin.—Ni fwriedir i'r penderfyniadau blaenorol gyda golwg ar y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig leihâu rhwymedigaeth y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau i ofalu am ac arolygu dros y gwahanol leoedd fel ag yn bresennol. —Darllenwyd cais o Gyfarfod Misol Dyffryn Conwy am ychwanegiad bychan at y *grant* i Colwyn Bay. Penderfynwyd gohirio y mater hyd yr amser arferol, sef Cymdeithasfa Mehefin.—Dymunwyd ar Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd i gymeryd gofal yr Achos Seisonig a gychwynwyd yn ddiweddar yn Llithfaen hyd Gymdeithasfa Mehefin.—Ymddyddanwyd â'r Parch. J. Ernest Jones, y cenadwr yn Tabernacl a Glanyrafon.—Derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. Edward Thomas, Ewloe Green, yn dangos ei barodrwydd i dderbyn tri mis o rybudd i roddi ei swydd i fyny fel cenadwr. Penderfynwyd derbyn y cynnygiad, a rhoddi y rhybudd.—Darllenwyd gohebiaeth mewn perthynas i daliad cyflog y Parch. Richard Jones, y cenadwr yn Millom; ac awdurdodwyd y Trysorydd i dalu iddo y swm o £10, a chadw y swm hwnw allan o'r *grant* i Millom.—Hysbyswyd fod y Parch. John Owen, Wigan, wedi rhoddi i fyny ei gysylltiad â'r Genadaeth Gartrefol.—Darllenwyd cais o Gastell Caereinion am daliad uniongyrchol o'r *grant* i'r lle hwnw. Penderfynwyd cadw at y rheol arferol o beidio talu y *grant* nes y dewisir gweinidog i gymeryd gofal y lle.—Derbyniwyd Adroddiad Trysorydd y Genadaeth Gartrefol mewn perthynas i'r Casgliad Neillduol a wnaed yn ddiweddar at yr achos hwnw. Amlygwyd llawenydd fod y casgliad hwnw wedi cyrhaedd y swm anrhydeddus o £808 0s. 8½c.—Hysbyswyd fod y Parch. Owen Evans wedi derbyn galwad fel cenadwr yn Bolton a Tyldesley yn lle y diweddar Barch. D. C. Davies, a bod y Cyfeisteddfod yn cymeradwyo y dewisiad.—JOHN ROBERTS, *Cadeirydd;* THOMAS LEWIS, R. WILLIAMS, *Ysgrifenyddion.*

Dymunir adgoffa y bydd aelodau Cyfeisteddfod yr Achosion Seisonig dros Manchester, Henaduriaeth Lancashire, Trefaldwyn Uchaf, Trefaldwyn Isaf, a Sir Ddinbych, yn myned allan o swydd ar ddiwedd y flwyddyn hon, a'r un modd am aelodau Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol am y lleoedd hyn.

## RHAGFYR 1AF, 1881.

*Cyfarfod y Pregethwyr am* 10 *o'r gloch ddydd Iau.*

Ymdriniwyd ar *y pwys i bregethwyr ymdeimlo â'u cyfrifoldeb gyda gwaith yr Arglwydd.* Sylwyd fod y pregethwyr yn llafurio llawer, ac eto fod llawer o'r bobl yn pechu yr un fath a chynt. Naturiol yw i'r pregethwyr ddyweyd mai y bobl sydd heb gredu; a hawdd yw iddynt daflu y cyfrifoldeb ar eu gilydd, a rhanu y cyfrifoldeb nes ei ranu ymaith. Ond y mae y rhai y mae yr Arglwydd wedi eu han-

rhyfeddu â llwyddiant mawr wedi arfer teimlo *fod* cyfrifoldeb mawr arnynt hwy eu hunain. Er mai Duw biau rhoi *llwyddiant*, eto dylai pregethwyr yr oes hon deimlo fod rhan fawr o'r cyfrifoldeb am y llwyddiant neu yr aflwyddiant arnynt hwy eu hunain; ac y mae yn fendith i ysbryd y pregethwr allu ymdeimlo yn ddwys â'r cyfrifoldeb hwn. Teimlai yr apostolion eu bod dan rwymedigaeth ddwys. Paul a alwai ei hun yn "wasanaethwr Iesu Grist." Ystyriai ei hun "yn was i Grist." Ac fe fu ein Harglwydd Iesu Grist hefyd yn was. Hyn sydd yn rhyfedd! Nid yw efe yn was mwy; Arglwydd yw efe yn awr, a ninnau yn weision. Yr hyn a ddylai pregethwr ofyn iddo ei hun ydyw, "A ydwyf fi yn ffyddlawn, ac yn awyddus am lwyddo, fel gwas?" Dyma fel y teimlai yr hen dadau—eu bod yn gofalu dros eneidiau fel rhai yr oedd raid iddynt roddi cyfrif. Dylid ystyried a yw y pregethau a draddodir o'n pulpudau yn gyfryw ag y gellir dysgwyl llwyddiant drwyddynt—yn cynnwys duwinyddiaeth iachus ac hefyd gymhwysiad o'r gwirioneddau at y galon a'r gydwybod. I ddal pysgod rhaid cael bâch yn gystal â *lîne*. Dylai y pregethwr deimlo yn anfoddlawn er cael cymeradwyaeth uchel ei wrandäwyr os nad ydyw yn llwyddiannus yn y neges fawr o ddwyn dynion i gymmod â Duw.

Dywedir fod yn bryd i bregethwyr yr efengyl ymdeimlo yn ddwys â chyfrifoldeb eu gwaith, am fod lle i ofni fod crefydd yn myned i lawr mewn llawer o gymydogaethau yn ein gwlad. Coffeid am ardal lle yr oedd lliaws o gapelydd, ond y bobl heb ddyfod i wrando, eithr yn myned i'r bryniau i ymddifyru ar y Sabboth, fel y byddent yn yr hen amser. Ofnid fod hyn yn wir am lawer man, ac fod y gwŷr dylanwadol ymhlith y blaenoriaid yn anamlach nag y buont. Dylai y gweinidogion deimlo o herwydd agwedd isel crefydd yn holl faes eu gweinidogaeth. Byddai y diweddar Dr. Raffles, a'r diweddar John Angel James, yn teimlo os byddai adfeiliad yn eu heglwysi, nes myned i fwy o ymdrech mewn gweddi. Am danom ni, y mae neillduolrwydd yn ein hamgylchiadau. Y mae gweinidog yn ein plith ni yn cael profi anfanteision pob *system*, ac heb gael manteision unrhyw *system*. Caiff y bugail ei gyferbynu â'r brodyr eraill sydd yn dyfod i bregethu i bobl ei ofal; a hawdd yw i'r bugail ei hun fyned i deimlo nad yw y cyfrifoldeb am yr aflwyddiant yn gorphwys ond yn unig mewn rhan ar ei ysgwyddau ef. Ond y mae yn amlwg fod dysgawdwyr crefydd ymhob oes, pa neillduolrwydd bynag fyddo yn eu sefyllfa, yn fwy atebol na neb arall am ystâd crefydd mewn gwlad. Dylai pwysfawredd y gwaith ein gwneyd yn deimladol iawn o'r anghen am ddylanwad yr Ysbryd Glân. Amlwg yw nad yw dysgeidiaeth ddynol ddim yn ddigon.

Ond pa mor fychan bynag fyddo y llwyddiant, y mae o bwys dirfawr fod y pregethwr o ddifrif. Yr oedd Noah yn pregethu i fyd na chafodd ei achub trwyddo; ond dywedir iddo ei gondemnio. Wrth adael un o feusydd ei lafur, yr oedd Paul yn gallu dyweyd ei fod yn lân oddiwrth waed pawb oll. Y mae yn bosibl i ddyn gadw ei hun er colli ei wrandäwyr; ond peth ofnadwy yw colli y ddau.

Yn ngwyneb nad oedd agwedd y wlad a'r eglwysi yn ddysglaer, sylwid fod tuedd ymhob diwygiad mawr i weithio ei hun allan. Felly y bu gyda'r diwygiad mawr apostolaidd. Yr oedd heresiau wedi dyfod i mewn cyn i Paul fyned o'r maes, ac eglwysi Asia wedi llygru cyn marw yr apostol Ioan. Daeth claearineb mawr a syrthiad ymaith ar ol y Diwygiad Protestanaidd. A dichon fod y Diwygiad Methodistaidd a gymerodd le er ys cant a hanner o flynyddoedd yn un y mae gwrthweithiad i fod ar ei ol, ac fod rhyw ail ddiwygiad i ddyfod eto—rhyw ad-drefniad, yn yr hwn y bydd un eglwys yn cael ei llyncu i fyny gan eglwys arall. Nodwedd yr oes hon yr ydym ni yn byw ynddi yw *cymdeithas*. Gelwir hi yn oes y cymdeithasau. Ond y mae arwyddion yr amserau yn danges fod dylanwad y person unigol yn dyfod i fwy o bwysigrwydd. Felly y mae yn Germany. Pan feddyliom am y wlad hono, yr ydym yn gweled fod yno un dyn â'i ddylanwad yn rymus ar holl symudiadau y genedl. Yr un modd am Ffrainc. A phan y deuwn drosodd i Loegr, y mae yma ryw un dyn â'i ddylanwad goruwch dylanwad pawb arall. Felly gyda chrefydd hefyd. A dichon fod ambell i ardal wedi colli rhyw *un* dylanwadol, rhyw flaenor fe allai, ac wedi cael ei gadael gyda rhywun annhraethol lai yn ei le ef, a chrefydd yn yr ardal yn dyoddef o herwydd hyny. Gall un dyn roi ei ddelw ar eglwys a chynnulleidfa. Perygl rhai, hwyrach, yw amcanu gormod at ryw ddefnyddioldeb cyffredinol. Y mae Methodistiaid yn ddyledus am eu dylanwad i haelioni Duw yn rhoi gweinidogaeth nerthol iddynt. Cafodd aml un o'r tadau weinidogaeth debyg i weinidogaeth yr Arglwydd Iesu Grist ei hun, yr hwn yr oedd yr holl bublicanod a'r pechaduriaid yn ymgynnull ato, a dynion drwg yn rhy weiniaid i sefyll ger ei fron. Y mae perygl gyda Bugeiliaeth i awydd am fod yn ddefnyddiol yn y cylch yma a'r cylch arall, ac amcan at ddefnyddioldeb cyffredinol, beri i rai esgeuluso astudiaeth, a

gwaith mawr y swydd, sef dysgu y bobl trwy bregethu.

DYDD GWENER, RHAGFYR 2IL.

*Y Cyfarfod Neillduol am hanner awr wedi wyth.*

Yn y cyfarfod hwn coffäwyd yn barchus am y brodyr yn y weinidogaeth oeddynt wedi eu cymeryd ymaith er y Gymdeithasfa o'r blaen, sef y Parchedigion Benjamin Jones, Bagillt; Griffith Williams, Talsarnau; a Robert Ellis, Ysgoldŷ. Tystid am Mr. Jones ei fod trwy ei dduwioldeb, ei ddifrifwch, a'i ffyddlondeb, wedi ennill iddo ei hun radd dda yn meddwl ei holl gyfeillion. Yn Sir Fflint, o'r holl siroedd, yr oedd efe uchaf, ac yn Magillt, o holl Sir Fflint, yr oedd efe uchaf. Y mae yr achos yno, yr hwn nid oedd ond bychan ddeugain mlynedd yn ol, yn gofadail o'i weithgarwch. Bu yn Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol am lawer o flynyddoedd; ac yr oeddid wedi parotoi darlun o hono ef a'i briod i'w gyflwyno iddo fel arwydd o barch iddo, oblegid iddo gyflawni ei swydd mor effeithiol; ond cyn i'r amser ddyfod i ben i gyflwyno y darluniau, yr oedd Mr. Jones wedi ei alw i dderbyn coron cyfiawnder. Yr oedd yn bregethwr wedi ei gymhwyso gan ragluniaeth a gras, ac yn un a ymroddodd yn ei ddydd i wasanaethu yr efengyl. Y teimlad oedd na chlywyd ef erioed yn pregethu fel y Sabboth olaf y bu wrth y gwaith. Ac ni bu ond un Sabboth, sef yr olaf iddo ar y ddaear, heb fod yn pregethu.

Am Mr. Williams, Talsarnau, dywedid iddo gael ei gymeryd ymaith mewn adeg yr oedd lliaws ei frodyr yn dysgwyl cael ei wasanaeth am flynyddoedd yn hŵy. Bu farw cyn cyrhaedd triugain mlwydd oed. Yr oedd yn ddyn craff, call, hynod o hynaws a charedig ei ysbryd, ac yn un y ceid ganddo lawer o ddigrifwch diniwed—digrifwch heb golyn iddo. Nid oedd neb yn ei adnabod ond fel gweinidog i Iesu Grist. Er nad oedd yn hen, gan fod y Cyfarfod Misol yn cael ei wneyd i fyny yn benaf o bobl ieuainc, yr oeddid yn edrych ar Mr. Williams fel tad. Yr oedd arno awydd cryf cael byw yn hŵy i bregethu, ac yr oedd llu o destynau yn dyfod i'w feddwl i bregethu arnynt wedi i'w iechyd ddechre adfeilio. Yr oedd yn ysgrifenwr rhagorol, a'i enw wedi dyfod yn adnabyddus fel awdwr Cofiant Richard Humphreys o'r Dyffryn, a llyfrau eraill a ddarllenir gydag awyddfryd. Er fod digrifwch yn naturiol iddo yn ei ysgrifeniadau a'i ymddyddanion, yr oedd, oddiar syniad uchel am bwysfawredd gweinidogaeth yr efengyl, wedi ymgadw ar hyd ei oes heb adael i'r elfen ddigrifol ddyfod i'r golwg yn ei bregethau, a thrwy hyn yr oedd yn marn amryw o'i gyfeillion yn colli yr hyn oedd yn rhoddi mwyaf o ddylanwad iddo tu allan i'r pulpud.

Yn marwolaeth Mr. Robert Ellis, collwyd gweinidog da, un fu yn pregethu yr efengyl am naw mlynedd a deugain. Yr oedd gofal am yr achos yn elfen arbenig yn ei gymeriad. Yr oedd yn ddyn hynod o weithgar a diarbed o hono ei hunan. Bu yn gofalu am liaws o eglwysi cyn bod bugeiliaid wedi eu sefydlu ynddynt. Bugail oedd ef y pryd hwnw heb i neb ei osod ond Pen mawr yr eglwys. Yr oedd yn bregethwr da a difrifol iawn. Y pethau buddiol y sonia Paul am danynt, yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist, a fyddai materion mawrion ei weinidogaeth ef yn barhâus. Dangoswyd ar ddydd ei angladd ei fod yn dywysog ac yn ŵr mawr yn ein plith, o herwydd anhawdd fuasai cael un dyn arall yn Sir Gaernarfon yn gallu casglu y fath dyrfa ynghyd i'w gladdu.

*Myfyrdod a Gweddi* oedd y mater yr ymdriniwyd âg ef am y gweddill o'r cyfarfod.

Sylwyd fod myfyrdod yn angenrheidiol er cynnyrchu dwysder a thaerineb mewn gweddi. Yr ydym yn cael fod pawb yn meddwl llawer am yr hyn a fydd yn brif beth ganddynt; ac felly y mae rhai mawr mewn gweddi yn rhoi eu meddwl gyda dwysder ar bethau crefydd. Tra yr oedd Dafydd yn myfyrio, ennynodd tân; a'r peth cyntaf a wnaeth ar ol hyny oedd gweddïo. Y mae y mater yn ein harwain i dir cysegredig iawn. Onid ydym yn teimlo yn aml annhueddrwydd mawr i weddïo, a thuedd i daflu y peth i adeg arall? Y mae hyn yn codi o ddiffyg myfyrdod. Byddai yn dda i ni deimlo fod rhywbeth mewn gweddi heblaw geiriau. Tybia rhai yn ein gwlad fod adrodd gweddi lawer gwaith drosodd yn gwneyd i fyny am ddiffyg teimlad yn y galon; a boddlonant ar ddyweyd y weddi ddengwaith ar hugain drosodd, yn lle ei dyweyd unwaith yn iawn gyda'r galon. Nid oes dim sydd yn haws ei ganfod nag ôl myfyrdod ar weddi; ac i'r graddau yr ydym yn meddwl ac yn myfyrio, yr ydym i ddysgwyl atebiad a bendith.

Yr hyn sydd i fod yn destun myfyrdod genym yw y Gair Sanctaidd. "Yr hwn sydd anghynnefin â gair cyfiawnder, maban yw." Gweddïai Dafydd am i'r Arglwydd wrando llef ei fyfyrdod. Y mae llef mewn gwir fyfyrdod. Ond nid oes neb yn gallu rhoddi y llef hon ond rhai cynnefin â gair cyfiawnder. Nid yw babanod yn myfyrio; ac y mae lle i ofni fod llawer o fabanod penwŷn yn ein plith nad oes adnod o'r Bibl yn myned trwy eu

meddwl yn nghorff y dydd. Ac o hyn y mae y diffyg proffiadau y cwynir o'i herwydd yn y cyfarfodydd eglwysig. Yr hyn a glywir gan lawer pan eir i ofyn eu proffiad yw, nad oes dim byd neillduol ar eu meddwl, tra y mae pethau neillduol iawn yn perthyn i'n hachos ni. A ydym yn gyfiawn ger bron Duw? A ydym yn cynyddu ar gynnydd Duw? Ond y mae dyeithrwch ein myfyrdod i'r cwestiynau mawrion yna yn peri i ni deimlo yn gyffredin a difater. Serch y galon sydd i gylymu ein meddwl wrth bethau Dwyfol "A anghofia gwraig ei phlentyn sugno?" "A anghofia y briodasferch ei thlysau?" Na wna, am fod serch y naill a'r llall yn ormod arnynt. Ac os nad ydyw ein serch ar y pethau sydd uchod, nid yw ein crefydd ar y goreu ond plisgyn. Y mae y dyn o feddwl llygredig yn ddyn annuwiol er pob ymddangosiad o grefydd sydd ganddo oddiallan.

WILLIAM WILLIAMS,
*Ysgrifenydd.*

---

SEFYDLIAD GWEINIDOG YN LLANGEITHO.

EDRYCHIR ar eglwysi Llangeitho yn Neheudir Cymru, a'r Bala yn y Gogledd, fel dwy brif fam-eglwys yn ein Cyfundeb. Er amser yr enwog Daniel Rowlands, bu gan y Methodistiaid bregethwyr yn byw yn Llangeitho hyd yn ddiweddar, pan y bu farw y Parch. Robert Roberts; ac o'r yspaid hwnw, nid oedd yno yr un. Ond yn awr y mae Mr. Daniel Jones, Ceinewydd, mab i'r Parch. Jenkin Jones, Llanôn, a brawd i'r Parch. David Jones, Dowlais, wedi cael ei alw i weinidogaethu yn Llangeitho, ac yntau wedi derbyn yr alwad a symud yno. Nos Wener, y 13eg o'r mis diweddaf, cynnaliwyd cyfarfod sefydliad, pryd y llywyddid gan R. J. Davies, Ysw., Ustus Heddwch, Cwrt Mawr, un o ddiaconiaid yr eglwys, ac y cymerwyd rhan yn ngwaith y cyfarfod gan y Parchn. A. Oliver, Llanddewi; John Jones a John Williams, Tregaron; John Jones, Ceinewydd; T. Charles Edwards, M.A., Aberystwyth; Mr. Rees Jones, y blaenor hynaf yn yr eglwys; a'r gweinidog newydd ei hun. Mae yr eglwys yn Llangeitho yn un o'r rhai mwyaf o ran rhifedi ei haelodau a ellir gael mewn ardal wledig, yn rhifo dros dri chant; ac er dechre y ganrif hon y mae eglwysi Blaenpenal, Pennwch, Bwlch y llàn, a Llwyngroes, y rhai ynghyd a rifant dros saith gant o aelodau, wedi tori allan o'r hen eglwys yn Llangeitho, ac felly y mae hi yn "llawen fam plant," ac yn iach, heinyf, a gweithgar eto.

---

CYFARFOD SEFYDLIAD YN MOZERA, MYNWY.

DYDD Llun, y 26ain o Ragfyr diweddaf, cynnaliwyd cyfarfod dyddorus yn nghapel Mozera, i groesawu y Parch. J. M. Matthews yn ei waith yn cymeryd gofal yr eglwys Seisonig yno. Llywyddwyd gan y Parch. Edwin Williams, M.A. a B.D.; ac anerchwyd y cyfarfod gan y Parchn. W. G. Owen, Abergafeni; D. Davies (A.), Llanover; T. C. Phillips, Mountain Ash; a W. Howells, Llywydd Athrofa Trefecca. Rhoes Mr. Howells gynghorion priodol iawn i'r eglwys ac i'r gweinidog, seiliedig ar Matthew xx. 25–28. Tystiolaethai efe fod Mr. Matthews yn un o'r dynion ieuainc goreu ac anwylaf a fu erioed yn Nhrefecca.

---

BUGEILIAETH YN SIR GAERFYRDDIN.

HYSBYSWYD yn Nghyfarfod Misol Rhagfyr diweddaf fod y Parch. T. Job wedi ei ddewis yn fugail ar eglwys Bethel, Conwil, a'r Parch. William Thomas ar eglwys Llansaint; ac yr oedd y cyfarfod yn foddus yn cadarnhâu y dewisiadau.

---

CAERPHILI.—CYNNYGIAD HAELFRYDIG.

YN Nghyfarfod Misol Pontmorlais, Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd yn niwedd Rhagfyr diweddaf, derbyniwyd hysbysiad o eglwys Caerphili fod David Lewis, Ysw., Machen, yn cynnyg £250 i'r cyfeillion yno at ddyled eu capel, ar yr ammod fod i'r eglwys gasglu y gweddill erbyn dechre Mai nesaf. Penderfynwyd i Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol anfon llythyr o ddiolchgarwch i Mr. Lewis am ei garedigrwydd, ynghyd ag am yr awrlais a roddasai yn nghŵr y capel; ac awdurdodwyd y Parch. Thomas Davies i roddi achos y capel hwn o flaen personau, ac yn y cynnulleidfaoedd lle y caffo ganiatâd.

---

GRADDAU YSGOLEIGIOL.

YMDDENGYS i ni gael ein cambysbysu pan yn ysgrifenu ein nodyn o dan y penawd uchod yn y rhifyn diweddaf o'r DRYSORFA. Dywedwyd fod y Parch. D. Charles Edwards, B.A., Bala, wedi *ennill* y gradd o M.A. yn Mhrifysgol Rhydychain, pryd mai rheol Prifysgolion Rhydychain a Chaergrawnt ydyw *rhoddi* y gradd o M.A. i bawb a fyddant wedi gwisgo y gradd o B.A. am dair blynedd, ond iddynt dalu y *fees*, heb unrhyw arholiad o gwbl. Dywedwyd hefyd fod Mr. Richard Morgan Jones, Bryncrug, wedi cael y gradd o B.A. yn Mhrifysgol Caergrawnt; ond ymddengys mai wedi myned trwy yr *ail* o'r tri arholiad sydd yn angenrheidiol am yr *ordinary degree* y mae, ac fod ganddo yn agos i flwyddyn eto i aros cyn y caiff fyned i mewn am yr arholiad diweddaf.

---

TALU DYLED CAPEL COEDLLAI.

Y MAE eglwys a chynnulleidfa Coedllai, Sir Fflint, yn ddiweddar wedi derbyn cymhorth a chysur mawr trwy haelioni Thomas Peters, Ysw., Celyn, un o'r blaenoriaid yno. Ar yr ammod iddynt hwy yno gasglu £50, addawodd

ef roddi £100 tuag at leihâu y ddyled sydd yn aros ar yr ysgoldy cysylltiedig â'r capel. Erbyn hyn y mae yr amcan teilwng wedi ei gyrhaedd; a diau genym nad yw yr amser ymhell pryd y gorphenir talu y gweddill trwy help haelionus y boneddwr caredig. Mae efe o'r blaen wedi dangos haelfrydedd mawr yn yr eglwys a'r gymydogaeth; ac nid yno yn unig, canys gellir enwi amryw gapelau, yn enwedig yn nosbarth yr Wyddgrug, lle y mae ei gan' punt, a'i hanner canpunt ef, wedi bod yn gynnorthwy amserol ac effeithiol iddynt. Efe hefyd yw un o'r tri sydd wedi addaw £50 yr un at gwbl dalu "yr hen ddyled ar Gyfarfod Misol y Sîr," ar yr ammod i ddosbarthiadau y Sîr wneyd y gweddill. Hyderwn y bydd pob lle yn ffyddlawn i wneyd eu rhan i gyfarfod Mr. Peters, a'i ddau gyfaill, Mr. Evans o Gaerlleon, a Mr. Lewis, Mostyn Quay. Dywedwn ninnau yn Nghoedllai a'r gymydogaeth, "O frenin, bydd fyw byth!"—*J. J.*

---

EGLWYSI CYMREIG LIVERPOOL.

Mewn cyfarfod eglwysig undebol a gynnaliwyd yn y Tabernacl, Liverpool, y 4ydd o Ionawr diweddaf, darllenwyd papyr gan y Parch. John Thomas, D.D., ar ystadegaeth grefyddol y gwahanol enwadau Cymreig yn Liverpool a Birkenhead, gan eu cymharu â'r hyn oeddynt 28 mlynedd yn ol. Oddiwrth y cyfrif, gwelir fod gan y Methodistiaid yn 1853 7 o eglwysi gyda 1863 o aelodau, pan y mae ganddynt yn 1881 16 o eglwysi a 5343 o aelodau, gyda 6590 ar lyfrau eu Hysgolion Sabbothol—fod gan yr Annibynwyr yn 1853 4 o eglwysi, ac yn perthyn iddynt 727 o aelodau, ond fod ganddynt yn awr 7 o eglwysi gyda 1750 o aelodau, a 1497 ar lyfrau eu Hysgolion Sabbothol—fod gan y Wesleyaid oedd yn 1853 yn un gylchdaith, gyda 5 o leoedd addoli, a 564 o aelodau, yn awr ddwy gylchdaith, gyda 9 o leoedd addoli, a 1207 o aelodau, a chyfanrif o 1340 ar lyfrau eu Hysgolion Sabbothol—fod gan y Bedyddwyr yn 1853 4 o leoedd addoli gyda 528 o aelodau; ond erbyn hyn y mae ganddynt o fewn yr un cylch 8 o eglwysi gyda 924 o aelodau, a 823 ar lyfrau eu Hysgolion Sabbothol. Fel hyn y mae cyfanswm y pedwar enwad yn Liverpool a'r cylchoedd yn 40 o eglwysi, 9224 o aelodau, a 10,249 ar lyfrau eu Hysgolion Sabbothol. Gwelir fod nifer eu heglwysi wedi dyblu mewn llai na 30 mlynedd, a nifer yr aelodau yn dri chymaint.

---

CAPELAU NEWYDDION.

Y mae capel newydd Bowydd, Ffestiniog, wedi ei agor ddechre'r flwyddyn hon, pryd y gwasanaethwyd gan y Parchn. Dr. Hughes a Joseph Thomas. Mae'r capel newydd pryd ferth hwn wedi ei adeiladu ar gyffiniau'r Fron Fawr, lle y mae lliaws o dai newyddion wedi ac yn cael eu hadeiladu; ac felly nid yw ymhell oddiwrth gapelau ardderchog y Gareg Ddu a'r Tabernacl, eithr yn gymydog sydd yn eu golwg. Costiodd oddeutu dwy fil o bunnau; a diau ei fod yn un o'r capelau harddaf a berthyn i'r Cyfundeb.

Ar y dydd cyntaf o'r flwyddyn hon, agorwyd capel newydd yn Princes Road, Upper Bangor, yr hwn a fwriedir i gynnal gwasanaeth Seisonig ynddo. Y mae yn sefyll ar dir uchel ac amlwg, a'r olwg arno yn dra dymunol. Gothic yw o ran ei arddull; ac y mae pawb cymhwys i farnu hyny, yn mawr ganmawl Mr. Richard Davies, yr *Architect*, am ei lwyddiant i gynllunio adeilad mor brydferth a destlus. Y mae traul yr adeilad, ynghyd a'r tir rhydd-ddaliadol y saif arno, yn agos i £2400. Tuag at dalu y swm hwn, y mae y cyfeillion yno wedi casglu eisoes, mewn addewidion a chyfraniadau, dros fil o bunnau. Yr ydym yn deall eu bod yn dra chalonog, o herwydd fod ganddynt olwg am gynnulleidfa dda o drigolion y dref. Nid ydynt yn ymddibynu ar ddyeithriaid i ffurfio'r gynnulleidfa, nac i gynnal y weinidogaeth, fel y gwneir mewn llawer man. Y mae un boneddwr, aelod o'r gynnulleidfa, wedi anrhegu y capel âg *harmonium*, a chyfranu £300 tuag yr adeilad. Ar ddydd yr agoriad pregethwyd i gynnulleidfäoedd mawrion, gan y Parchn. T. C. Edwards, M.A., Llywydd Coleg Aberystwyth, a T. J. Jones, Llangefni, yn awr o Brifysgol Caergrawnt.

---

SYMUDIAD PREGETHWR.

Y mae'r Parch. Richard Owen, Cana, Môn, wedi symud i breswylio yn y Glyn, Penmaen mawr, Arfon. Darllenwyd llythyr o gyflwyniad Cyfarfod Misol Môn o hono yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn y Felinheli'r mis diweddaf; a rhoddwyd i Mr. Owen groesawiad cynhes gan frawdoliaeth Arfon.

---

MARWOLAETH GWEINIDOG YN DDISYMWTH.

Pan yr ydym ar anfon ein sypyn olaf o'r rhifyn hwn i'r wasg, yr ydym yn darllen yn y *Liverpool Mercury* (Ionawr 21ain), fod y Parch. John Williams, Llandrillo (Dwyrain Meirionydd), wedi marw yn ddisymwth y dydd blaenorol, o glefyd y galon, yn ngorsaf y *railway* yn Derwen. (O bosibl mai Derwen, nid ymhell o'i gartref, ac nid Darwen ymhell yn Lloegr, yw yr iawn enw.) Nis gallwn wybod ychwaneg am yr amgylchiad galarus i'w gyhoeddi yn y Drysorfa y tro hwn. Ond diau y bydd ein darllenwyr yn gyffredinol, yn gystal a ninnau, yn teimlo yn fawr o herwydd y fath fynegiad pruddaidd. Yr oedd Mr. Williams yn ŵr da a doeth, yn weinidog ffyddlawn, ac o ddylanwad mawr yn ei wlad. Efe oedd Llywydd Cymdeithasfa'r Gogledd am y flwyddyn 1879; ac yr oedd yn llanw'r lle hwnw mewn modd medrus a dirodres. Nis gellir ond cydymdeimlo yn ddwys â'i weddw yn ei thrallod, a ddaeth arni mor annysgwyliadwy, a'i chyflwyno i nawdd Tad y trugareddau, a Duw pob dyddanwch.

# Amrywiaethau.

### GWEDDI'R FFYDD YN GWELLA LLAW.

Yr oedd gweinidog, mewn pregeth amser yn ol, yn ymdrin am effeithiolrwydd gweddi, pryd yr adroddodd yr hyn a ganlyn: "Yr oeddwn unwaith yn adwaen bachgen bychan oedd â briw drwg iawn ar ei law ddehau, a'r hwn oedd yn gwaethygu er pob triniaeth. O'r diwedd yr oedd yn dechre madru; a'r meddyg a ddywedai fod yn rhaid ei thori ymaith er mwyn arbed bywyd y bachgen; a phenodwyd y dydd i weinyddu yr orchwyliaeth anhyfryd. Yr oedd y bachgen bach yn gristion, ac felly yn arfer gweddïo o'r galon. Pan y clywodd efe'r meddyg yn dyweyd y byddai raid tori ymaith ei law, yr oedd efe yn teimlo yn wir athrist; nis gallai mewn un modd hoffi'r meddwl o golli ei law ddehau. Felly efe a aeth i gongl ddystaw, gysgodol, yn yr ardd, ac ar ei liniau a weddïodd am i Dduw beri i'w law ddyfod yn well, gan ei fod ef yn credu y gallai efe wneyd hyny, fel na byddai eisieu iddi gael ei thori ymaith. Y dydd canlynol, pan ddaeth y meddyg i edrych ar ei law, wele hi, er ei syndod mawr, yn ymddangos yn llawer gwell. Y diwrnod nesaf yr oedd y llaw yn well fyth; a'r trydydd dydd yr oedd y meddyg yn dyweyd ei fod yn meddwl y byddai iddi lwyr wellhâu, ac felly na byddai raid ei chymeryd ymaith. Y bachgen bychan hwnw a dyfodd i fyned yn ddyn, ac a ddaeth mewn amser yn weinidog yr efengyl; ac wele," medd y pregethwr, gan ddal i fyny ei law, "wele y llaw ddehau a gadwyd trwy weddi rhag cael ei thori ymaith; a dyma fi yn dal y llaw hon i fyny o'ch blaen fel prawf o Dduw yn gwrando gweddi. Gwrandawer ar y gorchymyn grasusol: 'Ymhob peth,' ïe, cofier, '*ymhob* peth, mewn gweddi ac ymbil gyda diolchgarwch, gwneler eich deisyfiadau chwi yn hysbys ger bron Duw.'"—*Christian Herald.*

### GWAEDOLIAETH JOHN BRIGHT.

Yn mywgraffiad Mr. Bright a gyhoeddwyd yn ddiweddar, cyfeirir at yr hen ystori fod ganddo waed Iuddewig yn ei wythenau, gan i un o'i hynafiaid briodi merch o'r enw Martha Jacobs. Mr. Barnett Smith a ddywed y tybir oddiwrth ei henw mai Iuddewes ydoedd, er nas gellir profi fod hyny yn ffaith. Pan yr ystyrir fod yr Iuddewon yn eu cyfyngu eu hunain agos yn hollol i'r trefi mawrion, ac nad oedd ond ychydig ymsymudiadau ymysg y dosbarthiadau gwerinol yn amser James II., ymddengys i ni yn bur annhebyg ddarfod i Abraham Bright, un o amaethwyr Wiltshire, briodi Iuddewes. Tebycach o lawer ydyw mai Cymraes oedd Martha Jacobs. Nid yw Wiltshire ymhell o borthladd Bristol, ymha le yn wastad y ceid llawer o'r elfen Gymreig; ac nid peth anghyffredin yn Nghymru yw enwau sydd yn ymddangos yn Iuddewig. Mae cyfenwau Iuddewig apostolaidd megys John, Thomas, James, Andrews, a Simmonds, yn ddigon cyffredin yn Lloegr; ond yn Nghymru, nid peth anfynych yw enwau Iuddewig patriarchaidd. Y mae llawer o danbeidrwydd a darfelydd Celtaidd yn areithyddiaeth Mr. Bright; ac y mae yn beth digon tebyg fod hyny wedi disgyn iddo o linach hen fam o Gymraes.—*Echo.*

### RHODDION HAELIONUS.

Y mae arianydd *(banker)* yn New York, Mr. George I. Seney, wedi rhoddi £110,000 i'r Athrofa Wesleyaidd yno; ac yn cynnyg rhoddi £40,000 yn chwaneg, ar yr ammod i eraill wneyd i fyny i'r swm hwnw.—Mae Mr. Andrew Carnegie, y gŵr blaenaf perthynol i'r *Steel Works*, yn Pittsburg, America, yr hwn yn ddiweddar a roes i'w dref enedigol, Dunfermline, Scotland, £10,000 i sefydlu Llyfrgell Rydd, yn awr yn cynnyg £50,000 i ddinas Pittsburg i'r un pwrpas. Cychwynodd yn yr America fel bachgen o negesydd ynglŷn â'r *telegraph;* ac yr oedd efe y pryd hwnw yn cynnal ei fam â'i ennillion; ac y mae yr hen wreigan yn fyw eto, ac yn un o synwyr cryf a moes urddasol. Ei oedran ef yn bresennol yw 47 mlwydd; a dywedir ei fod yn werth dwy filiwn o bunnau o leiaf.—Syr Erasmus Wilson, yr hwn a ddyg y draul o ddwyn Nodwydd Cleopatra i Lundain, sydd wedi chwanegu asgell at yr ysbytty cleifion yn Margate, yr hyn a gostiodd iddo £30,000.—Mae un o ysbyttai mawrion Llundain yn myned i adeiladu cartref adgryfhâol *(convalescent)* yn agos i Gravesend, yr hwn a fydd y mwyaf o'r fath yn y deyrnas. Anfonodd un boneddwr *cheque* am £11,000 tuag ato, ac un arall £5,000.—Rhoddodd Mr. Peter Carmichael, Arthurstone, £3,000 i adeiladu eglwys genadol, perthynol i Eglwys Sefydledig Bresbyteraidd Scotland, ynghyd a £1,600 i ymddiriedolwyr fel gwaddoliad tuag at y gwasanaeth ynddi.—Adeiladwyd eglwys newydd yn Derby oedd yn costio £5,500, pa swm a roddwyd ymron yn gwbl gan un foneddiges.—Yn un o'r cyfarfodydd gweddïau ganol dydd yn Edinburgh, hysbysodd Mr. Moody ei fod wedi derbyn llythyr y bore hwnw oddiwrth foneddwr, yn cynnyg iddo £1,000 tuag at godi adeilad gymhwys yn nghymydogaeth y Grassmarket i gynnal cyfarfodydd efengyleiddiad.

### HEN BREGETHWYR.

Fe dybygid mai un o'r rhai hynaf o bregethwyr sydd yn fyw yw y Parch. Edward Palmer, Barnwell, South Carolina, America, yr hwn sydd yn parhâu i bregethu agos bob Sabboth, er ei fod yn awr yn 93 mlwydd oed. Adroddir hefyd am y Parch. Mr. Fleming, Troon, Ayrshire, Scotland, ei fod yn ddiwyd yn dwyn ymlaen yr holl wasanaeth yn eglwys y plwyf, a hyny mewn modd bywiog iawn, er ei fod dros bedwar ugain oed. Sefydlwyd ef yno tua'r un amser ag y dechreuwyd adeiladu tref Troon; a chyfrifir yn beth tra anarferol mai yr un oedran ymron yw ei weinidogaeth a'r dref y mae yn byw ynddi. Mynegir ymhellach fod y Parch. Dr. James Anderson, gweinidog Presbyteraidd Morpeth, a'r hwn, o ran oedran, a gyfrifir yn dad Eglwys Bresbyteraidd Lloegr, yn hynach na Mr. Fleming. Y mae efe yn 86 mlwydd oed, ac yn pregethu bob bore Sabbath, a chynnorthwywr iddo yn pregethu yn yr hwyr. Ac y mae ôl astudiaeth barhâus ar ei bregethau, fel y gall efe ddyweyd, "Ag olew ir *(fresh oil)* y'm heneinir." Yr oedd efe yn weinidog eglwys blwyfol yn Scotland cyn yr ymwahaniad yn 1843; ac wedi hyny yr ymsefydlodd efe yn Morpeth, ac felly wedi bod yn gweinidogaethu yno namyn un flynedd deugain.

### AMYNEDD I DDYSGWYL.

Yr oedd hen ewythr goludog, yr hwn a ennillasai ei gyfoeth trwy ddiwydrwydd, craffder, a chynnildeb, mewn ymddyddan â nai iddo, oedd wedi gwastraffu agos yr holl eiddo a adawsai ei dad iddo, yn dywedyd, "Chwi a allwch wneyd unrhyw beth, os bydd genych amynedd; gellwch gario dwfr mewn gogr os medrwch yn unig ond dysgwyl." "Dysgwyl yn wir! pa mor hir y rhaid dysgwyl y fath beth a hyny?" gofynai'r nai, nid yn y dymher oreu, gan nad oedd yn hoffi cyfeiriad sylwadau ei ewythr; "ïe, pa mor hir?" Yr ewythr yn ei ddull sychlyd a atebodd, "Nid yn hŵy nag i'r dwfr rewi."

### DEUNAW LLYTHYR.

Dyledwr digofus a ddywedodd wrth fachgen y siop, wedi i hwnw ddwyn llythyr â bil ynddo iddo, "Dyma yr ariau i ti, y lleban! Yn awr dywed wrthyf paham y darfu i'th feistr ysgrifenu cymaint â deunaw o lythyrau ataf am y swm bychan hwn?" Y bachgen a atebodd, "Yn wir, nis gwn i ddim yn iawn, syr; ond hwyrach mai am fod dau lythyr ar bymtheg wedi methu o'r blaen."

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH CHERRA.

Llythyr oddiwrth Mrs. John Roberts, dyddiedig Cherrapoonjee, Tach. 16eg, 1881.

Ar ol crybwyll am ei hiechyd, yr hwn sydd yn awr, fel y bydd yn dda gan ein darllenwyr ddeall, wedi ei adferu yn hollol, dywed Mrs. Roberts,

"Ddydd Sadwrn diweddaf aethum i bentref Nongthymai, tua dwy filldir oddiyma, ar yr achlysur o angladd geneth ieuanc o'r enw Ka Durga (nid yw y gair angladd yn gwbl briodol, gan mai llosgi y corff a wnaed). Tua deunaw mlwydd oed ydoedd Ka Durga, ac yr oedd wedi bod yn wael er ys dros flwyddyn o'r darfodedigaeth. Treuliodd ran fawr o'r amser hwnw yn Mawphlang dan ofal Dr. Griffiths. Unig blentyn ei mam ydoedd, yr hon sydd hefyd yn weddw, fel y mae y wraig druan yn awr yn wir yn unig, heb ŵr, heb blentyn, ac y mae arnaf ofn heb Dduw. Perthynai Ka Durga i deulu o enwogrwydd ymysg y Khassiaid, ond y maent yn deulu sydd hefyd yn dra gwrthwynebol i Gristionogaeth. Diau y buasai yn well gan rai o honynt ei gweled yn farw na'i gweled yn sefyll ger bron y byd yn Gristion proffesedig. Nid oedd y fam, pa fodd bynag, yn myned ymhell iawn yn ei gwrthwynebiad; ac felly cyn i'w gwaeledd ddechreu, arferai Ka Durga ddyfod i'r Capel Cenadol yn rheolaidd, ac yno dysgodd gredu gair Duw, ac i ddeall fod tori wyau ac aberthu i'r demoniaid nid yn unig yn gwbl ffol, ond yn bechadurus. Gallai ddarllen yn ei hiaith ei hunan, ac arferai ddarllen y Testament Khasiaeg, ac, fel yr arferai ddywedyd, byddai yn cael llawer o gysur a phleser yn ei eiriau. Ymddangosai fel dan argyhoeddiad o bechod, ac yn meddu dymuniad cryf i fod yn eiddo yr Arglwydd. Ei sefyllfa yn ei pherthynas â'i chyfeillion oedd ei rhwystr penaf. Gwelais hi fwy nag unwaith â'r dagrau yn ei llygaid gan ddwysder ei theimladau, pan y dywedai, 'Gwn fod Gair Duw yn wir, ac mai yr Iesu yw yr unig Waredwr, ac yr wyf yn ymddiried ynddo. Byddaf yn gweddio arno bob dydd, ac yr wyf yn erfyn arno fy nhynu ato ei hun; dyma fy neisyfiad mawr, ar iddo Ef fy nhynu ato ei hun.' Credaf mai ei meddwl wrth hyny oedd, ar iddi gael ei galluogi os byddai raid i adael mam a chyfeillion er mwyn yr Iesu. Yn fuan ar ol yr ymddyddanion hyn aeth yn wael iawn, a chan iddi gael ei chymeryd i Mawphlang, ni chefais gyfleusderau ychwanegol i *siarad* â hi; ond clywais fod y llythyrau a anfonais ati yn dra derbyniol ganddi, ac arferai anfon cyfarchiadau cynhes gydag unrhyw un a ddygwyddai fod yn dyfod yma o Mawphlang. Ychydig wythnosau yn ol amlygodd awydd cryf am gael dyfod i'w hen gartref i farw, a chan nas gallai caredigrwydd na medrusrwydd meddygol wneuthur dim mwy iddi, cydsyniodd Dr. Griffiths â'i dymuniad. Aethum i'w chyfarfod fel yr oedd yn cael ei dwyn i'w chartref. Mor wahanol ydoedd, yn rhy wan i siarad, ond gyda'i llygaid mawrion rhoddodd arnaf edrychiad oedd i mi yn llawn o ystyr. Bu farw ymhen ychydig ddyddiau ar ol cyrhaedd tŷ ei thaid; ond cyn marw, deisyfodd ar ei chyfeillion na byddai unrhyw ddefodau a seremoniau Khasiaidd ar ei rhan hi, gan ddyweyd nad oedd dim a wnelai hi mwyach â'r fath bethau. Cydsyniwyd â'r dymuniad olaf hwn, ac anfonwyd gwahoddiad i'r Cristionogion i fod yn bresennol ar yr achlysur o losgi y corff; ac yr oedd amryw o honynt yn llawen o gael y cyfle olaf hwn i ddangos eu parch iddi.

"Ni ysgrifenwyd enw Ka Durga erioed ar lyfr unrhyw eglwys weledig; ond yr wyf yn credu fod genym sail dda i obeithio fod ei henw i lawr yn llyfr bywyd yr Oen, a'i bod wedi cael mynedfa i'r eglwys fywiol ac anweledig yn y nefoedd.

### KA KIAW U BARONSING.

"Ysgrifenodd fy mhriod atoch ynghylch Ka Kiaw U Baronsing, yr hon a ddaeth i'r eglwys rai misoedd yn ol. Mae yn cynnyddu yn fawr mewn profiad a gwybodaeth Gristionogol. Yr ydych yn cofio fod rhywbeth hynod yn ei phrofiad, ac y mae ei buchedd er y pryd hwnw wedi bod yn unol â hyny. Mae wedi bod yn dyoddef ac yn dyoddef yn ddirfawr er ys llawer o amser, gan friw yn ei llaw. Nis gallai gael braidd ddim cwsg, na dydd na nos, gan mor fawr oedd y boen, a dyma yr hyn a arferai ddyweyd,—'Byddaf yn aml yn teimlo tuedd i gwyno ac i ofyn paham y poenir fi yn fwy na phobl eraill? ac yna byddaf yn cofio fy Ngwaredwr a'i boenau a'i ofidiau, a bydd fy nghalon yn tori o'm mewn, a'r dagrau yn llifo i lawr fy ngruddiau. Darfu iddo Ef, yr Un sanctaidd, ddyoddef y pethau yna oll, a'u dyoddef drosof fi, yr un euog; a'r peth sydd yn fwy rhyfedd fyth, dyoddefodd hwynt oll o'i ewyllys da ei hunan; yr wyf fi yn *gorfod* dyoddef y poen yma, ond nid felly gydag Ef. O y fath gariad rhyfedd oedd ei gariad Ef yna paham y dylwn i rwgnach.' Yr oedd yn rhaid iddi, druan, fod lawer iawn ar ei

phen ei hun yn ei hystafell unig, oad pan y gofynais iddi ryw ddiwrnod a oedd yn teimlo yn unig, 'O, nac ydwyf,' meddai, 'ni byddaf byth yn teimlo yn unig; mae yr Iesu gyda mi yn barhâus. Yr wyf yn gwybod ac yn teimlo ei fod Ef yma *yn fy nghynnal* ac yn fy nghysuro. Nid oes arnaf eisieu ond cadw yn agos ato i'r diwedd.' Da genyf eich hysbysu ei bod yn awr yn llawer gwell, ac yn gallu myned oddiamgylch. Daeth yma y dydd o'r blaen, a chanmolai yn fawr garedigrwydd y Cristionogion tuag ati pan yr oedd yn wael. 'Nis gwyddwn,' meddai, 'am y fath garedigrwydd nes y daethum yma; ni bydd y Khasiaid byth yn helpu y naill y llall mewn afiechyd, fel y mae y *cyfeillion* wedi fy helpu i. Nis gallai hyd yn nod fy mhlant fy hunan wneuthur mwy i mi nag a wnaeth y rhai hyn. Gair Duw sydd yn gwneyd yr holl wahaniaeth. Gwn hyny yn eithaf da. O! y cariad y mae yn ei ddysgu, mor brydferth ydyw.' Yr ydwyf yn rhoddi i chwi ychydig o'i geiriau, er mwyn i chwi gael syniad am agwedd ei meddwl. Mawr obeithiaf y gallnogir hi i barhâu i redeg yr yrfa i'r diwedd. Er ei bod yn awr yn gryf ei ffydd, gall y bydd y temtasiynau yn lliosog eto; am hyny erfyniaf eich gweddïau taer drosti, ar fod iddi ddal gafael yn y Gwaredwr trwy y cwbl.

"Gyda'r cofion mwyaf caredig at eich cylch teuluaidd.

Yr eiddoch, &c.,

S. M. Roberts."

---

## DOSBARTH KHADSAWPHRA.

### Llythyrau oddiwrth y Parch. G. Hughes.

Mewn llythyr diweddar, ysgrifenai Mr. Hughes fel y canlyn o Mawphlang:—

"Er nad oes dim neillduol i adrodd am y gwaith yn y Dosbarth y tro hwn, da genyf allu dyweyd fod yr achos yn myned ymlaen ac yn edrych yn obeithiol. Er pan ysgrifenais ddiweddaf, y mae gwraig a'i dau blentyn wedi ymuno â'r eglwys yn Nongrymai. Daeth y wraig hon i feddwl gyntaf am Gristionogaeth trwy dderbyn meddyginiaeth a gwellhâd i'w geneth gan Dr. Griffiths, agos i ddwy flynedd yn ol; a byth er hyny y mae wedi bod yn dilyn y moddion yn gyson. Gwraig lawn o helbulon yw hon. Yr oedd ganddi ŵr meddw a diog, a phlant afiach, ac mewn canlyniad yr oedd yn dlawd iawn. Pan y dechreuodd ddyfod i'r moddion, gadawodd ei gŵr hi a'i dau blentyn, a chymerodd wraig arall, gan ei gadael yn hollol ddiswcr. Ond y mae Rhagluniaeth wedi gwenu arni er hyny. Y mae yn well arni yn awr nag oedd flwyddyn yn ol. Y mae y lodes hynaf, Ka Lasubon, yn eneth garuaidd, ddeallus, a dyddorol. Amser yn ol, yr oedd ei mam wedi myned un diwrnod i farchnad Wmsaw, a chan nad oedd neb a arosai gyda hi i ddychwelyd ddydd Llun, a bod y ffordd o'r farchnad yn arwain trwy goedwig anial, dychwelodd a chyrhaeddodd adref ar y Sabboth. Pan ddaeth, gofynodd i'w geneth, Ka Lasubon, ferwi reis a pharotoi (y mae plant pur ieuainc yn gallu coginio yn Khasia). Atebodd yr eneth na wnai, gan ei bod wedi tori y Sabboth a phechu yn erbyn Duw; fod Duw yn ddig wrthi, a'i bod hithau (yr eneth) yn ddig hefyd. Dywedai y fam wedi hyny ei bod yn teimlo mor gondemniedig fel y penderfynodd, beth bynag a ddygwyddai, na theithiai ar y Sabboth mwy

"Bum yn Mawlong yr wythnos ddiweddaf yn treulio noswaith gyda'r brenin. Y mae ef yn parhâu mewn teimlad dymunol, ac yn penderfynu dal yn ffyddlawn. Cysurus iawn oedd gweled y lle oedd crefydd yn ei gael yn y teulu. Pawb ynghyd yn y ddyledswydd deuluaidd, a'r bechgyn (ei neïaint) yn canu yn soniarus. Cedwir hon yn ddifwlch. Dywedai y brenin, 'Nid wyf yn gallu darllen yn hyddysg iawn, nac yn deall pa fodd i weddïo; ond byddaf, pan na bydd yr athraw yn y tŷ, yn darllen ychydig, ac yn gweddïo fel y gallaf.' Mor syml a dirodres! Y mae ei gefnder, brawd y brenin blaenorol, ac eraill yn dechreu cynhyrfu er ei ddiorseddu; ond nid oes dim cam cyhoeddus wedi ei gymeryd eto, ond gweithio yn ddirgelaidd i geisio gwenwyno meddyliau ei ddeiliaid paganaidd. Duw a roddo ras iddo i ddal yn nydd profedigaeth."

Rhagfyr y 12fed, ysgrifenai Mr. Hughes o Nongrymai drachefn,—"Yn ol penderfyniad yr Henaduriaeth ddiweddaf, cynnaliwyd Cyfarfod Diolchgarwch am y cynhauaf yma yn Nongrymai ar y cyntaf cyfisol. Y Sabboth blaenorol daeth y cynnulleidfäoedd o Nongthymai a Mawnai i gydgyfarfod yma ac i benderfynu ar y diwrnod mwyaf cyfleus i gadw y cyfarfod, ac i annog ein gilydd i haelioni ar yr amgylchiad. Ar y diwrnod penodedig daeth y bobl ynghyd yn gryno iawn, ac yr oedd ein hysgoldŷ yn llawn trwy y dydd. Cafwyd cyfarfod llewyrchus, a chydnabyddwyd yr Arglwydd nid mewn gair yn unig ond hefyd mewn gweithred. Gwnaed casgliad a'n synodd ac a'n llonodd yn fawr,—y casgliad *cynnulleidfäol* cyntaf yn Khadsawphra. Casglwyd Rs.11 4as. 1p. Bore dranoeth daeth dyn oddiyma sydd yn wrandäwr â basgedaid o reis i ni, gwerth Rs.1 2as., yn offrwm diolch, yr

hyn oedd yn gwneyd yr holl gasgliad yn Rs.12 6as. 1p., neu £1 4s. 9½c. o arian Lloegr. Wrth ystyried tlodi y bobl ac hefyd eu bod heb arfer cyfranu ond ychydig o geiniogau yn y flwyddyn yn y casgliad eglwysig, yr oedd hwn yn gasgliad mawr ac yn galonogol at y dyfodol. Yr oeddynt hwy yn synu at eu gwaith eu hunain yn hyn. Yr oedd pawb hyd at y plant lleiaf yn rhoddi yn llawen; ac mor siriol yr oeddynt yn edrych pan hysbyswyd swm y casgliad.

"Drannoeth aethum i Mawnai i briodi geneth o'r pentref hwnw oedd yn yr ysgol yn Nongsawlia â mab yr hen ŵr dall o Cherra. Daeth tyrfa fawr o Baganiaid i weled y ddefod, yr hon a weinyddid ar y clwt glas o flaen yr ysgoldŷ. Cymerwyd mantais o'r cyfleusdra i bregethu iddynt Grist, a chafwyd gwrandawiad o'r fath fwyaf astud—y bobl fel yn rhoddi derbyniad i'r genadwri. Achlysuron fel hyn yw y cyfleusderau goreu i gael cynnulleidfa yn y pentrefi hyn, yn enwedig lle caled fel Mawnai. Er mai hwn yw y pentref cyntaf yn y rhanbarth hwn i glywed yr efengyl, a bod yno eglwys er ys dros 16 mlynedd, eto dyma'r eglwys a'r gynnulleidfa leiaf o'r tair sydd yn y dosbarth.

"Y Sabboth diweddaf yr oedd genym gyfarfod mawr yma. Daeth Mr. Jones, Jiwai, a Dr. Griffiths, yn garedig iawn yma i'w gynnal. Yr oeddys wedi trefnu er ys rhai misoedd cael cyfarfod allan ar y maes yn Mairang ddydd Sadwrn, ac yma ar y Sabboth; ond gan fod y bobl yn y pentrefi o amgylch yno yn wrthwynebol iawn i'r brenin am ei fod yn Gristion, a'u penaethiaid yn awr yn ceisio codi yr holl wlad yn ei erbyn, tybid na cheid nemawr o gynnulleidfa dan yr amgylchiadau, ac fe allai eu gwneyd yn fwy llidiog; ac felly rhoddwyd hyny i fyny am y tro. Ein bwriad yw, gan na ellir cynnal Henaduriaeth yn y Dosbarth, oblegid fod y pentrefi mor fychain i nifer lled liosog lettŷa ynddynt, a bod y Cristionogion hyd yn hyn yn ychydig a thlodion, cael cyfarfod blynyddol mewn lle canolog, a chael tri neu bedwar o'r Cenadon a'r un nifer o bregethwyr brodorol i'w gynnal. Byddai hyn yn godiad i'r achos ac yn gynhyrfiad i'n zel. Daeth tyrfa fawr iawn ynghyd o'r gwahanol leoedd. Pregethodd Dr. Griffiths yn y bore a bedyddiodd ein geneth fach; ond bu gorfod arno ef ymadael wedi hyny er myned i Nongsawlia, am fod geneth fach Mr. Roberts yn sâl iawn, ac felly syrthiodd y cyfarfodydd dilynol ar Mr. Jones. Cafwyd pregethu effeithiol a chymhwysiadol, ac hefyd gwrandawiad astud trwy y dydd. Bore Llun aethom i Nongthymai, a phregethodd Mr. Jones. Wedi hyny aethom yn dyrfa gref i farchnad Maroit gerllaw, a phregethasom, neu yn hytrach rhoisom gyfarchiad ein dau i gynnulleidfa dda. Yn yr hwyr cafwyd cyfarfod eglwysig yma. Y mae y cyfarfod wedi gwneyd daioni mewn sirioli a chalonogi y proffeswyr, ac hefyd beri tipyn o *stir* yn y pentref. Yr oedd nifer o'r bobl, er na ddeuent i mewn i'r ysgoldŷ, yn sefyll y tu allan y bore a'r prydnawn i wrando.

"Yr oedd yn llawen iawn genyf, pan yn aros yn Mawphlang, beth amser yn ol, weled fod y gynnulleidfa wedi cynnyddu ac yn fwy sefydlog er pan fum yno o'r blaen—yr ysgoldŷ yn rhwydd lawn ar y Sabboth. Caffaeliad mawr yw hyn mewn pentref caled ac annuwiol fel Mawphlang, lle y mae gwrthwynebiad mor gryf a phenderfynol. Y mae pob merch ieuanc sydd wedi dyfod yn Gristion yno wedi gorfod dianc rhag niwed corfforol, ac ofn peth gwaeth, am noddfa at Dr. Griffiths; a bu gorfod anfon un o leiaf i Nongsawlia, ac ni faidd ddyfod yn agos at Mawphlang rhag ofn ei thad.

---

## LLYDAW.

Tua dwy flynedd yn ol penderfynodd Cyfarwyddwyr Cyffredinol y Genadaeth fod i'n gweithrediadau yn Llydaw gael eu cyfyngu i'r Llydawiaid, a'n bod i drefnu i roddi i fyny, mor fuan ag y gellid, yr achosion Ffrengig yn Quimper a Lorient. Yn unol â'r penderfyniad hwn gosodwyd yr adeiladau cenadol yn y trefi hyn, am ardreth isel, i Mr. Braud i gynnal gwasanaeth Protestanaidd yn y Ffrancaeg, a therfynodd ei gysylltiad ef â'r Gymdeithas ar ddiwedd mis Medi diweddaf. Ond gan nad oedd Henaduriaeth Brest, na'r Protestaniaid Ffrengig yn Lorient a Quimper, yn gallu gwneuthur y trefniadau y gobeithient allu eu gwneyd tuag at gynnaliaeth Gweinidog, penderfynodd Mr. Braud gydsynio â galwad oddiwrth Brotestaniaid Cherbourg i fyned i gymeryd gofal yr eglwys yn y lle hwnw, a symudodd yno ganol y mis diweddaf. Dan yr amgylchiadau hyn, gofynodd y Cyfeisteddfod Gweithiol i'r Parch. James Williams fyned drosodd i Lydaw i gymeryd yr eiddo cenadol o law Mr. Braud, ac i ofalu am fuddiannau y Gymdeithas. Penderfynwyd hefyd anfon Mr. William Jenkyn Jones, Cei Newydd, allan gydag ef. Mae enw Mr. Jones wedi bod ger bron y Cyfeisteddfod Cenadol er ys tair neu bedair blynedd. Derbyniwyd y tystiolaethau uchaf i'w gymeriad, ei zel a'i alluoedd. Bu am ddwy flynedd yn Ngholeg Normalaidd Bangor. Safai yn y dosbarth cyntaf yn yr arholiad wrth fyned i mewn, ac yn yr arholiadau ar ddiwedd

pob blwyddyn wedi hyny. Bu am tua phum' mlynedd yn llafurio gyda chymeradwyaeth mawr fel athraw yn Ystradgynlais, lle y dechreuodd bregethu. Aeth oddiyno i'r Athrofa yn Aberystwyth. Pasiodd arholiad y *Matriculation* yn Llundain yn y dosbarth cyntaf, a'r arholiad cyntaf am y radd o B.A. Ar ol cael pob boddlonrwydd o berthynas i Mr. Jones gan wŷr o farn oeddynt wedi cael cyfleusderau i'w adnabod mewn amrywiol gysylltiadau, barnodd y Cyfeisteddfod mai doeth oedd ei anfon allan ar unwaith i Lydaw. Buasai yn resyn i'r cyfleusderau neillduol i lafur cenadol sydd i'w cael yn Ffrainc yn bresennol fyned heibio, heb i ni gymeryd mantais arnynt,—cyfleusderau na chafwyd eu cyffelyb er ys ugeiniau o flynyddoedd. Caiff Mr. W. Jenkyn Jones gyfleusderau am ychydig fisoedd i adnabod y bobl, i ymberffeithio yn y Ffrancaeg ac i ddysgu y Llydawaeg, ac i wybod i ryw fesur am natur y gwaith sydd yno i'w wneyd; byddys felly ar dir mwy manteisiol i'w gynnyg i'r Gymanfa Gyffredinol i gael penodiad ffurfiol i'r gwaith. Gall, yn y cyfamser, wneuthur pobpeth ag y buasai yn bosibl iddo ei wneyd yn y chwe' mis cyntaf, pe d anfonasid ef mewn dull mwy ffurfiol. A diau y bydd y Gymanfa Gyffredinol yn fwy parod a chalonog i wneuthur y penodiad, os bydd ef, ar ol y mesur o brofiad fydd wedi ei gael o'r bobl a'u hanghenion, yn teimlo, nid yn unig fod y gobaith y bydd i'r efengyl lwyddo rywfodd a rhywbryd yn Llydaw, ond gradd o hyder y gall ef ei hunan fod yn offerynol i ddwyn y llwyddiant oddiamgylch.

GROIGNEC.

Mae Groignec yn parhâu i lafurio fel Llyfrgludydd, ac y mae yn cael cyfleusderau mynych i ddwyn yr efengyl i sylw y bobl wrth deithio trwy y wlad a galw o dŷ i dŷ.

Mewn llythyr dyddiedig Ionawr 10fed, rhydd hanes ei ymweliad â phentref yn Morbihan o'r enw Pluvigner, lle y buasai tuag wyth niwrnod yn flaenorol, a lle y gwerthasai amryw gopïau o Air Duw. "Gan fy mod," meddai, "wedi gadael fy llyfrau yn y tŷ lle y llettŷwn, gwyddid y dychwelwn yno. Ymhen hanner awr wedi i mi gyrhaedd, daeth dyn ataf o'r enw Josselin. Yr oedd y dyn hwn wedi prynu Bibl genyf wyth niwrnod cyn hyny. Ymddangosai yn hynod o gyfeillgar, a dywedai fod amryw o'i gyfeillion wedi dymuno arno ef brynu iddynt nifer o'm llyfrau; gan hyny, dymunai arnaf fyned â nifer o'm llyfrau i'w dŷ ef, ac felly aethum, heb dybied dim drwg. Yna aeth ef allan, ac arosais yno am dano tua chwarter awr. Tra yr oeddwn yn ei ddysgwyl, yn gyntaf oll daeth nifer o wragedd i mewn, yna daeth dynion, ac yn olaf heddgeidwad. Mor fuan ag y daeth yr heddgeidwad, dewisodd Josselin amryw o'm llyfrau,—Bibl mawr, pedwar o Destamentau, pymtheg o Almanaciau (Almanac gydag adnod o'r Bibl ar gyfer pob dydd o'r flwyddyn), ac ugain o bamphledi. Mor fuan ag y talodd am danynt, gwaeddodd allan, 'Yn awr ni gawn goelcerth ogoneddus!' Deallais erbyn hyn fod a wnelwn â phenboethyn. Erfyniais arno gymeryd yr arian yn ol, a rhoddi y llyfrau i mi. 'Yr wyf wedi talu am danynt,' meddai, 'ac eiddof fi ydynt;' ac ar hyny taflodd hwynt i'r tân. Tra yr oedd y tân yn llosgi fy llyfrau, siaredais (gallwn wneyd hyny, oblegid yn ffodus fod yr heddgeidwad yn bresennol) am lofruddiaeth yr Albigensiaid, a llofruddiaethau Gwyl St. Bartholomew, a Diddymiad Deddf Nantes. Dechreuodd un gŵr ieuanc yno ddadleu â mi; a gofynais iddynt anfon am eu hoffeiriad, ond ni ddaeth. Wel, yr ydym yn gwneuthur ychydig gynnydd. Gynt arferent losgi dynion; yn bresennol nis gallant wneyd hyny yn ddiberygl; ond yn awr maent yn dial ar y llyfrau sydd yn dadguddio eu hofergoeledd. 'Cofiwch,' meddwyf, 'na ddylech wneuthur i eraill yr hyn na ddymunech i eraill ei wneuthur i chwi. Denasoch fi yma dan rith cyfeillgarwch, fel y bradwr Judas;' ac yna siaredais wrthynt am tua chwarter awr. Pan ddaethum allan o'r tŷ, daeth yr heddgeidwad ar fy ol, a galwodd fi ato. 'Nid ydych,' meddai, 'yn adnabod y dynion hyn; aelodau ydynt o'r Cylch Pabaidd. Telir yn dda i'r dyn yna am losgi eich llyfrau.' Cymdeithas yw y Cylch Pabaidd sydd yn gweithio dan arweiniad yr offeiriaid a'r boneddwyr i osod Harri V. ar orseddfainc Ffrainc, ac i adsefydlu gallu tymmorol y Pab.

"Gwerthais wyth o gopïau o'r Testament Newydd yn y pentref hwnw y diwrnod ar ol hyn. Daeth dau o ddynion ataf, y rhai a glywsent fy mod wedi rhoddi taw ar aelodau y Cylch Pabaidd, i'm llongyfarch, a phrynodd pob un o honynt Destament. Ymwelais â'r pentref o dŷ i dŷ, ac, oddieithr gan ddau o benboethiaid, cefais dderbyniad moesgar gan bob teulu. Dywedai amryw o honynt fod y Person wedi pregethu yn llym y Sabboth blaenorol yn erbyn llyfrau drwg." Yna crybwylla Groignec ei fod, y dyddiau dilynol, wedi llwyddo i werthu copïau o'r Testament Newydd mewn amryw bentrefi lle y clywsai y bobl am y goelcerth a wnaed o'i lyfrau. Felly y bu yn Camors. Cafodd yn y lle hwn fod rhai o'r bobl oedd wedi prynu Testamentau

ganddo flynyddoedd yn ol wedi eu llosgi ar gais yr offeiriad; ond yno ac yn Languidic yr oedd rhai o'r bobl, ar ol clywed am yr hyn a wnaed yn Pluvigner, yn awyddus i gael Biblau.

Dywed Mr. Jenkyn Jones, "fod yr *Impartial*, un o bapyrau Llydaw sydd yn bleidiol iawn i'r offeiriaid, yn gorfoleddu wrth adrodd am yr erlidigaeth ar y llyfrau yn Pluvigner, ac yn rhoddi hanes yr amgylchiad fel newydd y byddai yn dda gan y 'ffyddloniaid' ei glywed; ond nid yw yn dywedyd i hyny fod yn foddion i beri i Groignec allu gwerthu llawer o gopïau o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Tynir Satan i mewn yn fynych rhwng dannedd ei olwynion ei hunan, ac felly y mae yn yr achos hwn."

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

Galwyd sylw yn y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf, ac ar ol hyny amryw weithiau yn y Cymdeithasfaoedd a'r Cyfarfodydd Misol, ac mewn cyfarfodydd eraill, at y ffaith fod derbyniadau blynyddol y Genadaeth erbyn hyn, o herwydd cynnydd y gwaith, lawer o gannoedd o bunnoedd yn rhy fychan i gyfarfod â'r treuliadau. Mae rhai o'r Siroedd wedi cynnyddu ychydig yn eu cyfraniadau y flwyddyn hon, ond y mae eraill heb wneuthur dim cynnydd. Mae y Cenadon wedi anfon i'r Cyfeisteddfod Gweithiol amcangyfrif o'r draul o ddwyn y gwaith ymlaen am y flwyddyn yn diweddu Mawrth 31ain, 1883; ac er gwneuthur ymdrech i gadw y treuliadau i lawr, ychwanegu y maent. Gan nad oes ychwanegiad cyfatebol yn y derbyniadau, pa beth a wneir? Mae pentrefi yn awyddus am athrawon: a raid i'r cri am help gael ei droi ymaith? A gawn ni erfyn ar i swyddogion pob eglwys lle nad oes casgliad effeithiol wedi ei wneuthur eisoes, ofalu am fod yr achos hwn yn cael ei osod o flaen pob cynnulleidfa o hyn hyd y 18fed o Fawrth. Da fyddai trefnu rhyw foddion, trwy fyned at bob aelod o'r gynnulleidfa, i ddwyn anghen y Genadaeth o flaen sylw personol cyfeillion, yn gystal a gwneuthur casgliad cyhoeddus. Gofaler am wneyd y casgliadau yn ddigon prydlawn, fel ag i fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn diwedd Mawrth.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol tuag at y Genadaeth er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:—

| | £ | s. | d. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| O Langefni, casgliad arbenig trwy law Mr. Jones, London House .................. | 13 | 11 | 3 | | | |
| Tyner swm a dalwyd am gistiau i anfon sypynau i'r India a'u cludiad i Liverpool, a *Bank Commission* .......... | 1 | 1 | 5— | 12 | 9 | 10 |
| O Brynsiencyn, eto, trwy law Mr. Jones, Llangefni .......................... | | | | 2 | 13 | 5 |
| Chatham Street, Liverpool (ychwanegol) | | | | 5 | 0 | 0 |
| Gogledd Aberteifi, trwy law Mr. Philip Williams .......................... | | | | 54 | 8 | 10 |
| Mr. E. Peters, Waterloo, trwy law y Parch. Dr. Hughes, i'w defnyddio gan y Parch. T Jerman Jones er lles y gwaith .... .................... | | | | 1 | 0 | 0 |
| Dwyrain Meirionydd, trwy law Mr. R. Jones, Bala .......................... | | | | 132 | 0 | 0 |
| Mr. W. Davies, Penuel, Penycae, trwy law *Messrs. P. M. Evans & Son* ...... | | | | 0 | 11 | 9 |
| O Langollen .......................... | | | | 8 | 4 | 1 |
| O Lanfynydd, Sir Gaerfyrddin, trwy law Mr. John Jones .................. | | | | 7 | 0 | 0 |
| O Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Wrexham .......................... | | | | 60 | 3 | 4 |
| Swm a gasglwyd gan Miss Edith Evans, Hammersmith, Llundain ........... | | | | 3 | 8 | 0 |
| Gorllewin Morganwg, trwy law Mr. Griffiths, Taibach .................. | | | | 56 | 7 | 1 |
| Mr. James Bromfield, Awdwr "*Brittany and the Bible*," tuag at y Genadaeth yn Llydaw .......................... | | | | 5 | 0 | 0 |
| Eglwys Ebenezer, Carno, Rhymney, trwy law Mr. David Williams ...... | | | | 5 | 0 | 0 |
| C. Parry, Talybontau, Llanerchymedd, i brynu llyfrau i'r Khasiaid ......... | | | | 0 | 2 | 6 |
| Cyfaill eto, i'w defnyddio gan y Parch. T. J. Jones er lles y gwaith ........ | | | | 0 | 5 | 0 |
| Casglwyd gan Ddosbarth Mr. E. Richards, Maesteg ........................ | | | | 0 | 5 | 4 |
| Taleithiau Unedig America, trwy law Uriah Davies, Ysw.— | | | | | | |
| Cymunrodd y diweddar Mr. Chapman, Vanadocia, Vanwert Co. Ohio $200= | 41 | 5 | 7 | | | |
| Eglwys Caersalem, Pine River, Wis........$6.83= | 1 | 8 | 2— | 42 | 13 | 9 |

Yn rhestr y derbyniadau a gyhoeddwyd yn y rhifyn am fis Rhagfyr, rhoddwyd enw Mr. J. *Jones*, Chapel St., Newborough, 10s., tuag at dô haiarn Capel Nongsawlia, yn lle Mrs. Jane *Evans*.

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 617.] MAWRTH, 1882. [LLYFR LII.

## ADFEILIAD AC ADFYWIAD.

### PREGETH GAN Y PARCH. GRIFFITH DAVIES, ABERTEIFI.

1 SAMUEL vii. 2, 3: "Ac o'r dydd y trigodd yr arch yn Ciriath-jearim y bu ddyddiau awer; nid amgen nag ugain mlynedd; a holl dŷ Israel a alarasant ar ol yr Arglwydd. A Samuel a lefarodd wrth holl dŷ Israel, gan ddywedyd, Os dychwelwch chwi at yr Arglwydd â'ch holl galon, bwriwch ymaith y duwiau dyeithr o'ch mysg, ac Astaroth, a pharotowch eich calon at yr Arglwydd, a gwasanaethwch Ef yn unig; ac efe a'ch gwared chwi o law y Philistiaid."

"IACHAWDWRIAETH sydd o'r Iuddewon," meddai ein Gwaredwr yn ei ymddyddan â'r wraig o Samaria. Ganddynt hwy yr oedd gwybodaeth o'r wir grefydd, yn eu plith hwy yr oedd addoliad y gwir Dduw, eiddynt hwy oedd yr addewidion a'r cyfammodau, ac o honynt hwy yr hanodd Crist yn ol y cnawd, yr hwn sydd yn iachawdwriaeth i'r Arglwydd hyd eithaf y ddaear. Yr oedd y wladwriaeth Iuddewig gan hyny y ryfeddaf a fu yn y byd erioed, gan fod ei holl egwyddorion a'i darpariaethau yn gysgod daionus bethau i ddyfod. Gellir dyweyd am danynt oll, "Yr hyn bethau ydynt mewn alegori."

Ond yr oedd rhyw *amserau nodedig* yn perthyn i'r wladwriaeth hynod hono. Yr ydym yn cael fod adegau felly yn hanes gwledydd y byd yn gyffredinol, fel y gwelwn yn hanes Prydain, a Ffrainc, a Rhufain, a Groeg—adegau ar ba rai y deuai nodweddau neillduol eu cyfansoddiadau gwladwriaethol i amlygrwydd a hynodrwydd yn fwy nag ar amserau cyffredin. Felly y mae yn hanes gwladwriaeth Israel; ac un o'r amserau mwyaf nodedig yw pan y mae Samuel yn ymddangos ar y chwareufwrdd. Efe, yn nesaf at Moses, yw y *diwygiwr* mwyaf yn hanes y genedl. Nid oedd y sefydliadau a osodwyd i fyny gan Moses wedi gafaelu yn ddwfn yn y bobl hyd amser Samuel. Efe, a meibion y prophwydi a gawsant eu haddysgu yn yr ysgolion a sefydlwyd ganddo, a ddarfu gwblhâu y gwaith a ddechreuwyd gan Moses, trwy roddi bywyd ac yni i egwyddorion y wladwriaeth, ac i'r ordeiniadau ymha rai yr oedd yr egwyddorion hyny wedi eu corffori.

Hanes adfywiad nodedig ar grefydd ydym yn gael yn y bennod hon—adfywiad seiliedig ar wir ddiwygiad, a hyny ar ol adeg o adfeiliad a dirywiad mawr. Cyn yr adfywiad a ddygwyd oddiamgylch trwy offerynoliaeth Samuel, yr oedd gwlad ac eglwys wedi myned i sefyllfa o annhrefn ac aflywodraeth.

Ystyriwn

I. ARWYDDION A NODWEDDAU ADFEILIAD AR GREFYDD YN NRYCH HANES Y GENEDL Y PRYD HWN.

1. Yr hyn sydd yn taro ein meddwl yn gyntaf oll yn yr hanes yw, *llygredigaeth ynglŷn â gwasanaeth cysegredig.* Daw hyn i'r golwg yn neillduol yn hanes teulu Eli. Yr oedd Eli yn archoffeiriad ac yn farnwr. Gan ei fod o deulu Aaron trwy Ithamar, yr oedd yn meddu hawl i'r brif offeiriadaeth; ac y mae yn debygol ei fod wedi ei ethol yn farnwr. Diau ei fod yn ddyn o gryn allu a chymhwysderau i lywodraethu, onidê ni buasai yn cael ei ethol; ac nid

oes dim yn cael ei roddi yn erbyn ei gymeriad ond ei *gau* dynerwch tuag at ei feibion.

Ond y mae y meibion hyn yn arfer y fath anghyfiawnder a llygredigaeth mewn cysylltiad â gwasanaeth y cysegr, fel y mae yr Arglwydd yn penderfynu tori ymaith holl dŷ Eli oddiwrth yr allor—na chaent sathru ei aberth a'i fwydoffrwm ef mwyach. "Canys fy anrhydeddwyr a anrhydeddaf, a'm dirmygwyr a ddirmygaf." Nis gellwch roddi mwy o ddirmyg i mi nag arfer anghyfiawnder a llygredigaeth mewn cysylltiad â'm gwasanaeth.

*Cymeriad*, ac nid *gwaedoliaeth*, sydd yn rhyngu bodd Duw. Nis gwyddom paham y daeth y brif-offeiriadaeth i deulu Ithamar, os nad o herwydd rhyw esgeulusdra neu gamddygiad yn nheulu Eleazar; ac yn awr dyma'r brif-offeiriadaeth yn dychwelyd eto i deulu Eleazar trwy Sadoc, o herwydd drygioni meibion Eli. Gwel 1 Samuel ii. 25, 35. Cofiwn nad oes dim yn digio Duw yn fwy na choleddu llygredigaeth, a bod mewn cysylltiad â'i wasanaeth ef. Hyderwn nad yw yr arwydd eithafol hwn o adfeiliad ar grefydd i'w weled y dyddiau hyn; ond y mae eisieu i ni beunydd ymdeimlo â'r *sancteiddrwydd* sydd yn gweddu i dŷ Dduw.

2. *Coelgrefydd.* Y mae drygioni meibion Israel wedi gyru Duw oddiwrthynt, ac yn awr y maent yn cael eu gorchfygu gan y Philistiaid. Beth y maent yn ei wneyd? Cyrchu arch y cyfammod yr Arglwydd i faes y rhyfel. Y mae dau fab Eli, Hophni a Phinëas, yn myned â'r arch i Aphec. Diau fod y bobl yn meddwl y byddai iddi gael effaith fel *charm* o'u plaid yn erbyn y gelynion. Ond nid yw Duw gyda hwy, er fod ei arch yno. *Beth yw gwerth yr arch ar ysgwyddau offeiriaid llygredig?* Yr oedd yr arch wedi gwneyd grymusderau cyn hyn—pan yn myned o flaen y bobl trwy'r anialwch, a thrwy'r Iorddonen, a dymchwelyd caerau Jericho. Ond yr oedd Duw gyda'r arch y pryd hwnw. Yn awr, dyma'r arch heb Dduw. Er ei bod wedi dychrynu y Philistiaid ar y cyntaf, eto buan iawn y canfyddwyd nad oedd yno ddim ond gwendid coelgrefydd. Dylai ffolineb plant Israel ein dysgu ni i beidio camddefnyddio yr ordinhadau. Cofiwn fod rhinwedd yr ordinhadau yn ymddibynu ar deilyngdod y derbyniwr. Nid yn unig nid ydynt o un lleshâd, ond y maent yn *farnedigaeth*, os bydd y derbyniwr yn ddrwg ac anedifeiriol (1 Cor. xi. 28; Mal. ii. 2). Cofiwn mai hanfod defodaeth a choelgrefydd yw ymorphwys yn y cyflawniad allanol gyda'r ordinhadau, ac nad yw camddefnyddio yr ordinhadau, a'n cysylltiad â chrefydd, yn ddim amgen na myned âg arch Duw i blith y Philistiaid. Arwydd sicr o adfeiliad ydyw hyn, a pheth sydd yn ffynu yn fawr, yr ydym yn ofni, yn y dyddiau presennol.

3. *Diffyg gwylder a pharchedig ofn.* Tybiwch fod rhai o'r Israeliaid yn ymresymu gan ddywedyd, a digon tebyg eu bod yn ymresymu felly, "Nis gall yr arch yma ein cadw, nid yw werth dim i ni; nid oes dim eisieu i ninnau ofalu am dani hithau, nid oes eisieu i ni ei pharchu, nid yw ond coffr o goed,"—dyna'r pechod gwrthgyferbyniol i goelgrefydd. Yr oedd pobl Bethsemes yn llawenychu wrth weled yr arch yn dychwelyd o dir y Philistiaid; ond dyna eu cywreingarwch yn cael ei gyffroi fel yr edrychasant yn arch yr Arglwydd; a'r canlyniad fu i "ddengwr a thriugain a deng mil a deugain o wŷr" gael eu lladd. Bernir mai y darlleniad cywir fyddai "*Hanner cant o fil*"—y fath nifer yn cael eu taraw yn farw i ddangos anfoddlonrwydd yr Arglwydd yn herwydd eofndra tuag at ei arch. Yr oedd Duw yn gofyn gweithredoedd allanol o barch i'w ordinhadau dan yr Hen Destament (Exod. iii. 5; Jos. v. 15). Dyna Josua yn gorchymyn fod *dwy fil* o gufyddau rhwng y bobl â'r arch pan yn myned trwy'r Iorddonen. Wele Uzzah drachefn yn ymaflyd yn yr arch, i'w chadw rhag syrthio, gellid meddwl; ond "digofaint yr Arglwydd a lidiodd wrth Uzzah, a Duw a'i tarawodd ef yno am yr amryfusedd hwn; ac efe a fu farw yno wrth arch Duw;" fel pe dywedasai yr Arglwydd, "Nid oes arnaf eisieu cymhorth neb i ofalu am ddiogelwch fy arch. Nid yw dynion i benodi eu hunain yn warchgeidwaid y gwirionedd."

Cofiwn fod pob peth sydd yn dwyn enw a nôd Duw i'w barchu: ei dŷ, ei air, ei ddydd, ei addoliad, ei ordinhadau. Y mae y seraphiaid yn cuddio eu hwynebau wrth ei wasanaethu (Esa. vi. 2). Pa faint mwy y dylem

ni? Yr ydym yn ofni mai un o'r arwyddion o ystâd isel ar grefydd sydd yn ffynu fwyaf yn ein gwlad y dyddiau hyn yw, *cofndra* gyda phethau crefyddol. Gymaint a welir o ysgafnder a chellwair yn yr ymwneyd â gwirioneddau y Bibl, ac âg ordinhadau yr efengyl! Y fath agwedd ysgafn, eofn, ac anystyriol, sydd ar lawer o wrandäwyr yr efengyl, a deiliaid yr Ysgol Sabbothol, ac hyd yn nôl llawer sydd wedi eu dwyn i fyny yn yr eglwysi! "Bydded genym ras, fel y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd, gyda gwylder a pharchedig ofn; oblegid ein Duw ni sydd dân ysol."

II. ELFENAU A NODWEDDAU ADFYWIAD CREFYDDOL, PAN Y MAE YN SEILIEDIG AR WIR DDIWYGIAD. Ni a welwn

1. *Mai moesol ac ysbrydol ydyw yr arfogaeth.* Beth yw arfau y filwriaeth gan Samuel? Pa fodd y mae y cyfnewidiad rhyfedd yn cael ei effeithio gan y diwygiwr enwog hwn? Nid trwy y cleddyf, fel Gedeon, neu nerth braich, fel Samson; ond yn

(1.) Trwy *Addysg.* Isel iawn oedd addysg wedi bod ymhlith y genedl hyd amser Samuel. Yr oesoedd tywyll yn hanes plant Israel oedd oesoedd y Barnwyr. Ond dyna Samuel yn sefydlu ysgolion y prophwydi; a mawr fu eu heffeithiolrwydd. Mor ddyledus oedd y genedl i'r sefydliadau hyn am y fath ddynion â Dafydd, a Solomon, ac Elias, ac Eliseus! Diau fod llawer heblaw hwy wedi cael eu dysgu ynddynt, ac wedi dyfod yn athrawon i eraill; ond y rhai hyn oedd pregethwyr mawr yr oesoedd hyny. Gellir enwi hefyd Sadoc, a Nathan, a Gad, fel rhai tra enwog yn eu dydd.

(2.) *Gweddi.* Yr oedd Samuel yn un hynod mewn gweddi. Gallesid dysgwyl iddo fod, âg yntau yn blentyn gweddïau ei fam. "A Samuel a waeddodd ar yr Arglwydd dros Israel, a'r Arglwydd a'i gwrandawodd." Gyda phob symudiad newydd, yr oedd Samuel yn ymgynghori â Duw; ac ond cael ei bod yn iawn yno, yna gwrandawai ar lais y bobl.

Trwy addysg a gweddi y mae yn dwyn oddiamgylch ddiwygiad trwyadl ymhlith y genedl. Y mae effaith y cleddyf a'r gallu anianyddol yn darfod yn fuan; ond y mae addysg a gwir grefydd yn creu cymdeithas o'r newydd. Cofiwn mai'r un yw yr arfogaeth effeithiol o hyd. Dyma "arfau y filwriaeth y rhai nad ydynt gnawdol ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, gan fwrw dychymygion i lawr, a phob uchder a'r sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist."

2. *Mai ffrwyth llafur maith yw adfywiad pan yn seiliedig ar wir ddiwygiad.* Nid oes son am Samuel o ddechre y bedwaredd bennod hyd y seithfed. Pa le y mae wedi myned? A ydyw wedi gadael ei waith, a rhoddi y bobl i fyny? Nid oes hanes am dano am ugain mlynedd. Ond y pryd hwnw yr oedd y gwaith mawr yn myned ymlaen: "Ac o'r dydd y trigodd yr arch yn Ciriath-jearim (meusydd y coed), y bu ddyddiau lawer, nid amgen nag ugain mlynedd; (yna) holl dŷ Israel a alarasant ar ol yr Arglwydd." Y mae Samuel yn awr yn gweled eu bod yn addfed, ac yn galw'r gymanfa fawr yn Mispah. Yn awr mae'r ymdrech mawr am ugain mlynedd mewn addysgu a gweddïo yn dwyn ffrwyth. Yr oedd Samuel wedi bod trwy'r blynyddoedd hyn fel *missioner* yn myned oddiamgylch y wlad gan farnu Israel. Yr oedd eu barnu yn cynnwys, nid yn unig llywodraethu, ond hefyd addysgu, yn neillduol yn manylrwydd cyfraith Duw. Yr ydym yn cael mewn cysylltiad âg adegau o adfywiad ar grefydd dan yr hen destament mai y peth cyntaf oll oedd dwyn y bobl a'r gyfraith i wyneb eu gilydd. Felly y gwnaeth y brenin Josïah (2 Bren. xxii. 8—13). Felly hefyd y gwnaeth Nehemïah ac Ezra (Nehem. viii. 1—8). Hyn a fu yn foddion y pryd hwn i ddwyn y bobl i deimlad priodol. Rhywbeth yn debyg oedd yn Niwygiad mawr Llangeitho yn amser Rowlands:—

"Clwyfau gaed, a chlwyfau dyfnion,
Ac fe fethwyd cael iachâd
Nes cael eli o Galfaria,
Dwyfol ddwr, a Dwyfol waed."

Pa fodd y cafwyd y fath glwyfau? Nid rhyw effeithiau ddaeth ar unwaith oeddynt, ond ffrwyth *pregethu'r ddeddf* am flynyddau:—

"'N ol pregethu 'r ddeddf dymhestlog,
Rai blynyddau yn y blaen,

A rhoi llawer yn friwedig,
'N awr cyfnewid wnaeth y gân;
Fe gyhoeddodd iachawdwriaeth
Gyflawn, hollol, berffaith, lawn,
Trwy farwolaeth y Messïah
Ar Galfaria un prydnawn."

Nid yw wiw i ni ddysgwyl rhywbeth grymus ar unwaith, ond hau yr hâd yn y bore, a'r prydnawn beidio attal ein llaw, canys ni wyddom pa un a ffyna ai hynyma ai hynacw, ai ynte da fyddant ill dau yr un ffunud. Ond i ni ddal ati i drin y tir, a hau'r had, a gwylio'r maes, yna y gallwn ddysgwyl cynauaf toreithiog yn ei amser. Ein hamcan yn arbenig a ddylai fod meithrin tôn uchel o foesoldeb yn yr eglwysi, a chyrhaedd tir uwch mewn crefydd ysbrydol.

3. *Mai elfenau adfywiad, pan yn seiliedig ar wir ddiwygiad*, ydynt

(1.) *Edifeirwch.* "A holl dŷ Israel a alarasant ar ol yr Arglwydd." Y maent wedi dyfod i deimlo mai colli Duw yw y golled fwyaf, ac mai eu pechodau a ysgarodd rhyngddynt â'u Duw. Diau eu bod yn meddwl llawer am y dedwyddwch a'r llwyddiant o'r blaen, a'u bod heb Dduw yn ddiymadferth a thruenus, ac yn teimlo mor anniolchgar ydynt wedi bod. Dyma'r pryd yr ydym yn dyfod i'n lle: pan yn wylo dagrau edifeirwch ger bron Duw.

(2.) *Dychweliad.* "Os dychwelwch chwi at yr Arglwydd â'ch holl galon, bwriwch ymaith y duwiau dyeithr o'ch mysg, ac Astaroth," &c. Paham y mae yn enwi y dduwies Astaroth, duwies y Sidoniaid, yr un â Venus y Groegiaid? Am mai hi oedd yr uchaf ei dylanwad ymhlith y bobl—yr eilun anwylaf. Y mae gwir edifeirwch am dori i lawr y pechod mwyaf hoff gan y dyn, a chyda zel a phenderfyniad neillduol yn bwrw ymaith y pechod sydd barod i'n hamgylchu. "Parotowch eich calon at yr Arglwydd, a gwasanaethwch ef yn unig." Ni fŷn Duw yr un *rival.*

(3.) *Adferiad.* Y mae hanes Israel yn llawn o hyn: pechu ac edifarhâu, a chael eu derbyn i ffafr Duw yn ol.

(4.) *Y mae goruchafiaeth ar y gelynion yn canlyn.* Yr oeddynt wedi myned dan draed eu gelynion o'r blaen; ond yn awr y maent wedi gadael eu ffyrdd drwg, a'r Arglwydd wedi derbyn eu haberth trwy law Samuel. Wedi gwneuthur heddwch â Duw, y maent yn drech na'u gelynion. "Camsyniad mawr," medd Matthew Henry, "oeddo y Philistiaid oedd ymosod arnynt pan yr oeddynt yn gwneyd heddwch â'u Duw." "Yr Arglwydd a daranodd â tharanau mawr yn erbyn y Philistiaid y diwrnod hwnw, ac a'u drylliodd hwynt, a lladdwyd hwynt o flaen Israel." Y mae maes y fuddugoliaeth yr un â maes y darostyngiad ugain mlynedd yn ol (iv. 1). Yr ydym yn cael ei bod felly yn aml eto yn hanes a phrofiad pobl Dduw, a bod y dinasoedd a ddygwyd oddiarnynt yn cael eu rhoddi adref iddynt drachefn (adn 14). Adeg o heddwch a llwyddiant cyffredinol sydd yn dilyn.

Wrth geisio dysgu y gwersi uchod oddiwrth yr amser nodedig hwn yn hanes y genedl, byddai yn dda i ni ymdebygoli i Samuel mewn dau beth yn neillduol:—

1. *Codi Ebenezer*, "gan ddywedyd, Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni." Nid ydym yn diolch digon am yr amddiffyn a'r llwyddiant sydd wedi bod ar yr achos yn ein plith. Er nad ydym yn cael profi pethau grymus iawn y dyddiau hyn, eto byddai yn dda i ni feddwl beth a ddelai o honom pe cymerid ein holl fanteision crefyddol oddiarnom. I ba sefyllfa y syrthiai ein gwlad oni byddai am bregethiad yr efengyl, a llafur yr Ysgol Sabbothol, a'r holl gyfleusderau ydym yn fwynhâu?

2. *Gofalu am allor i Dduw yn ein tai ein hunain.* "A'i ddychwelfa ydoedd i Ramah, canys yno yr oedd ei dŷ ef; yno hefyd y barnai efe Israel; ac yno yr adeiladodd efe allor i'r Arglwydd" (adn. 17). Digon tebyg nad oedd yr un tabernacl i'r Arglwydd yn bod am dymmor maith yn amser Samuel. Yr oedd y tabernacl yn Siloh wedi myned yn chwalfa. Y mae'r arch wedi cael ei hanfon yn ol o wlad y Philistiaid, yn cael ei gosod yn nhŷ Abinadab ar y bryn, ac Eleazar ei fab ef yn cael ei sancteiddio i gadw arch yr Arglwydd. Ond yr oedd Samuel yn gofalu am fod allor i'r Arglwydd yn ei dŷ ef ei hun yn Ramah. Y mae lle i ofni fod addoli Duw yn y teulu yn myned yn beth prin yn ein plith. Fe gedwir crefydd yn fyw eto os gofalwn ni am allor i Dduw yn ein tai ein hunain; ond er pob gwychder cyhoeddus, os esgeulusir yr allor yn y teulu, fe dderfydd crefydd o'r wlad.

# "YN AWR, BETH A DDYSGWYLIAF?"

*Gan y Parch.* GRIFFITH HUGHES, *Glanrhyd, Edeyrn.*

PSALM xxxix 7: "Ac yn awr, beth a ddysgwyliaf, O Arglwydd? *fy* ngobaith sydd ynot ti."

DYMA ddyn mewn cyfyng-gynghor ond nid yn ddiobaith. Mae titl y Salm yn dangos mai Dafydd ydoedd; a rhaid mai efe, neu ryw un mor debyg iddo â mi fy hun. Gallwn dybied ei fod yn lled fyrbwyll ac anochelgar yn ei ymadrodd; ond yr oedd yn ddyn agored i argyhoeddiad, a phenderfynai ddiwygio. Aeth i eithafion yn yr ochr ochelgar; tawodd ormod; deallai hyny ei hun, a rhoddodd *vent* i'w deimlad trwy droi at Dduw mewn gweddi. Ei gais ydyw, ei ddysgu i wybod ei ddiwedd; ac arweiniodd hyn ef i gydnabod byrder ac ansicrwydd bywyd dyn, pa mor frau ydyw! Gall yr anwybodus gyfrif ei ddyddiau ar ei fysedd: "Gwnaethost fy nyddiau fel dyrnfedd." Cydnebydd hefyd anwadalwch cyfoeth: "Dyn yn ddiau sydd yn rhodio mewn cysgod, ac yn ymdrafferthu yn ofer; efe a dyrra olud, ac nis gŵyr pwy a'i casgl." Yn yr ystyriaeth yma, mae yn gofyn yn y testun, fel wedi ei siomi yn y cwbl, "Ac yn awr, beth a ddysgwyliaf, O Arglwydd?" ac eto yn proffesu ei obaith yn yr Arglwydd: "Fy nghobaith sydd ynot ti."

I. GWELWN FOD RHYW AWR YN GWNEYD I BOB DYN DEIMLO ANNIGONOLRWYDD POB PETH GWELEDIG I GYFLAWNI EI DDYMUNIADAU.

Mae cysuron a gofidiau dynion, gan mwyaf, yn codi o'r dyfodol; ond anaml y bydd ofn na gobaith mor effeithiol â'i ragolygon cyn ei ddyfod. Mae dyn yn methu mwynhâu y presennol gan faint ei ddysgwyliad wrth y dyfodol. Os edrychwn ar ochr dywyll y byd, a dyn yn ei waeledd a'i anmherffeithrwydd, nid rhyfedd iddo gwyno. Tybia y tlawd mai mewn cyfoeth y mae dedwyddwch, a'r afiach, mai mewn iechyd y mae pob cysur, ac nid llawer y mae yn ei fethu.

Ond cymerwn fantais ar y cyd destun i weled "dyn ar y goreu;" y dyn a wnaeth y goreu o'r byd, a'r byd wedi gwneyd y goreu o hono yntau. Nid y meddwyn anniwall, na'r cybydd gorwancus, na'r diog a'r annarbodus; nid dyn a "dorwyd yn hanner ei ddyddiau;" eithr ar ei oreu.

Drud ydyw gwneyd arbrawf o bob peth, a'r peth goreu i ni yw cymeryd tystiolaeth dynion a wnaethant hyny yn fedrus ac effeithiol. Gwelwn hyn yn mhrofiadau Dafydd a Solomon; ac yn wir gallaf ddangos llawer o hyn bellach ar draul fy siomedigaethau fy hun.

Cymerwn sylwadau y PREGETHWR ar hyn, yn enwedig yn yr ail bennod o'i lyfr. Brenin oedd y dyn wrth ei swydd; a phrofiad a'i gwnaeth ef yn *Bregethwr* yn ei henaint, er na ordeiniwyd mo hono i'r swydd hon. Yr oedd ganddo ef ddigon o gyfoeth, a doethineb i wneyd prawf ar bob peth; ac ofer i neb gynnyg gwelliant ar ei waith ef; "canys beth a wnai y dyn a ddeuai ar ol y brenin? y peth a wnaed eisoes" (Preg. ii. 12).

1 *Pleserau.* Dyma yr hyn a gais plentyn a dyn ieuanc gyntaf: "Iddo yn awr, mi a'th brofaf â llawenydd, &c.;" ond yr oedd yn rhaid iddo ef ofyn am hyn oll, "Pa beth a wna?" Ceisiodd ymroddi yn gymedrol i wîn, er profi pa ddaioni oedd yn hyny "i feibion dynion, yr hyn a wnânt hwy dan y nefoedd holl ddyddiau eu bywyd." Nid aeth hwn yn feddwyn, eto profodd nad ydyw dedwyddwch mewn dilyn pleserau. Cwynai merch ieuanc unwaith ei bod wedi dyhysbyddu pob pleser a difyrwch, ac nad oedd ganddi ond lladd ei hun, am nas gallasai gael digon i gyfarfod â'i dymuniadau.

2. *Cyfoeth, a gorchwylion bywyd er ei ennill.* Yr oedd Solomon yn deall adeiladaeth a pheirianwaith; rhoddodd gychwyn ar hyn, sydd â'i effeithiau ar y byd hyd heddyw. Cododd fasnach ac anturiaeth, a gwellâodd fywioliaeth y bobl; ac yr oedd ganddo chwaeth at drin y ddaear a'r anifeiliaid. Edrychai ar bethau buddiol fel hyn, yn hytrach nag archwilio ei fyddinoedd, neu ddilyn helwriaeth, a'r cyffelyb. Ond ei gŵyn uwch ben yr oll ydyw, "Gwagedd yw y cwbl." Tybiwn ei fod wedi myned i ysbryd blin pan y mae yn cwyno fod yn rhaid iddo eu gadael, ac heb wybod pa fath a fyddai yr hwn a'u meddiannai ar ei ol. Gallesid rhoddi cynghor iddo wneyd ei ewyllys mewn iechyd; ond, ni ellir

gwneyd hyn heb i'r galon ofyn, "Ac yn awr, beth a ddysgwyliaf?"

3. *Pleserau gwybodaeth.* Mae hyn gymaint uwchlaw yr hyn a nodwyd ag ydyw dyn yn uwch na'r anifail. Gwerth yn llaw dyn i berchenogi doethineb ydyw cyfoeth: "A'th holl gyfoeth cais ddeall." Yr oedd Solomon yn athronydd galluog; deallai am lysiau, anifeiliaid, a'r corff dynol (Preg. xii). Ysgrifenodd ar bob cangen o wybodaeth. Gwelodd fod y doeth â'i lygad yn ei ben, pryd y mae y ffol yn rhodio yn y tywyllwch. Ond wrth weled y naill fel y llall yn marw, aeth i gwestiyno am hyn hefyd. Rhaid mai edrych tu hwnt i farw yr oedd, neu ynte buasai y cwbl yn siomedigaeth. Edrychai Syr Isaac Newton arno ei hun pan yn marw, fel plentyn wedi bod yn chwareu ar làn y môr, gan gyfnewid un gragen am y llall, pryd yr oedd yr holl eigion yn gorwedd yn ei ymyl heb iddo chwilio dim iddo.

4. *Enw ac anrhydedd.* Dyma eilun mawr y byd. Careg i farchogaeth oddiarni yw cyfoeth, a gwybodaeth, yr hon sydd yn chwyddo. Gadawodd llawer un ei gyfoeth yn un swm fel tŵr Babel i wneyd iddo enw. Wedi i Haman gael hyny a allai y brenin ei roddi iddo, ni allai oddef un Iuddew heb blygu iddo. Gwenodd ffawd fwy ar Napoleon III. nag ar un dyn; darfu i ragluniaeth lwyddo yr anturiaethau mwyaf gorphwyllog iddo. Ond daeth yr amser pryd y bu raid iddo yntau ofyn, "Ac yn awr, beth a ddysgwyliaf?"

5. Edrychwn ar *holl einioes dyn mewn gwahanol gyfnodau yn myned heibio.* Mewn myned rhagddo y mae dyn yn cael pleser. Wele y plentyn, wrth gael newid ei lyfr a'i ddosbarth, â'i lygaid yn sirioli ar ei symudiad ymlaen; daeth adeg ymadael â'r ysgol; dyfod yn rhydd o brentisiaeth; daeth priodi; gorphenwyd magu y plant. Ond erbyn hyn mae y cynauaf drosodd; "a dychwelyd (mae) y cymylau ar ol y gwlaw." Bum yn dymuno cael bod yn y fan lle byddai yr enfys, ond cawn fy hun yn nghanol y gawod. Beth a gâf? a ofyn plentyn; beth a wnaf? meddai y dyn ieuanc; ond, beth a ddysgwyliaf? medd yr hen. "Os dysgwyliaf, y bedd sydd dŷ i mi; mewn tywyllwch y cyweiriais fy ngwely" (Job xvii. 13).

II. GWELWN MAI MEWN AMGYLCHIAD FEL HYN Y MAE GOBAITH YN YR ARGLWYDD YN PROFI EI WERTH. Nid mewn cyfyngder y mae gobaith yn yr Arglwydd i'w gael; ond yma y profir ei werth. Nis gall dyn beidio dysgwyl rhywbeth wedi i'r byd hwn wneyd a all. Drwg dyfodol ydyw gwrthddrych *ofn*, ond daioni y mae dyn yn ei *obeithio;* eithr golyga *dysgwyl* y da a'r drwg. Gwelir hyn yn hanes Saul, a Dafydd. Yr oedd llawer o bethau gobeithiol yn Saul ar y cyntaf, ond un a fynai ei ffordd ei hun ydoedd, ac ni ddysgodd ymddiried yn yr Arglwydd. Aeth yn gyfyng iawn arno yn y diwedd, pan na wnai Duw ei ateb mwy. Nid oedd Dafydd heb golliadau; eto gobeithiai efe yn yr Arglwydd ymhob cyfyngder; ac er nas gallai edrych ar ei dŷ mor obeithiol ag y dymunai, "eto," medd efe, "cyfammod tragywyddol a wnaeth Efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr, canys fy holl iachawdwriaeth a'm holl ddymuniad yw."

Nis gall dyn beidio dymuno llawer iddo ei hun, canys nid all fyw arno ei hun; ac oni bydd genym drysor yn y nef, byddwn yn druenus. Ni fedr dyn foddloni i feddwl cau ei lygad yn angeu, a pheidio ei agor mwy. "Fy nghnawd hefyd a orphwys mewn gobaith."

Bywyd tragywyddol sydd yn melysu y cwbl. I obaith hwn y mae y saint yn cael eu hadgenedlu, ac edrych ymlaen am hwn mae "y gobaith trwy ba un y'n hiachäwyd." Dyddiau blin ydyw henaint i bawb, eto nid rhaid i ddyn duwiol ddywedyd, "Nid oes i mi ddim dyddanwch ynddynt," canys mae mewn "gobaith da trwy ras" ddyddanwch tragywyddol.

Dysgwyliais wrth y byd, ond y mae yn gyfnewidiol—wrth gyfeillion, ond y maent yn siomedig—wrth berthynasau, ond y maent yn farwol;—a siomwyd fi ynof fy hun yn fwy nag yn neb. Tybiais, wrth dderbyn mantell y weinidogaeth, y buaswn cyn hyn yn rhywbeth amgen. Ond erbyn hyn, "beth a ddysgwyliaf?" nid oes genyf wrth ei rhoddi heibio, ond fel Elias, plygu fy wyneb ynddi gan gywilydd; eto fy ngweddi a fydd, "Na âd i mi gywilyddio am fy ngobaith;" a dysgwyliaf i hwn droi allan yn dda i mi yn y diwedd. Clywais forwr yn cwyno fod ei angor a'i gadwen yn rhy drymion i'r llestr; ond ar ddryghin fawr drylliad y *Royal Charter,* yr oedd efe mewn angorfa

beryglus. Aeth amryw lestri yno yn ddrylliau, a symudodd pob un oddieithr hon, oedd â'i phwysau trymion yn ei dal yno; ac ni chwynodd y morwr mwy oblegid pwysau yr angor. Mae llawer wedi teimlo proffes o Grist yn lled drom; gwelsant eraill yn nofio yn ysgafnach, dan ddysgyblaeth lacach; ond mae profedigaethau y byd hwn wedi peri i lawer "wneyd llongddrylliad am y ffydd;" aeth y rheolau llac yn rhy wan i ddal. "Am hyny na fwriwch ymaith eich hyder, yr hwn sydd iddo fawr wobr." "Daliwn gyffes ein gobaith yn ddisigl, canys ffyddlawn yw yr Hwn a addawodd."

---

## PREGETHU YN YR OES HON A'R OES O'R BLAEN.

Papyr a ddarllenwyd yn Nghyfarfod Gweinidogion Cymreig Liverpool, yn Nghapel Everton Village, Ionawr 17, 1882.

*Gan y Parch.* GRIFFITH ELLIS, M.A., *Bootle.*

WRTH osod y testun uchod i lawr yn y cyfarfod diweddaf, cyttunwyd i olygu wrth "yr oes hon" y deugain mlynedd diweddaf, ac wrth "yr oes o'r blaen" y deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif bresennol. Ond gweddus yw cofio nad ydym o herwydd y penderfyniad hwn gan nifer o weinidogion yn 1881, i edrych ar y flwyddyn 1840 yn derfyn amlwg a phenodol rhwng dwy oes yn sefyll yn gwbl ar wahân. Nid oes y fath derfyn yn bod. Ar yr un pryd, y mae yn eglur i bawb sydd yn meddu gradd o gydnabyddiaeth â hanes y Weinidogaeth Gymreig fod y flwyddyn hono, a'r blynyddoedd o'i hamgylch, yn ffurfio cyfnod yn ystod pa un y cymerodd cyfnewidiad mawr a phwysig le ynddi, yn enwedig ymysg y Methodistiaid, ac i ryw fesur ymysg yr holl enwadau. A'r gorchwyl sydd genym mewn llaw heddyw ydyw ceisio nodi allan ganlyniadau y cyfnewidiad hwnw fel yr ymddangosant yn nodweddau y weinidogaeth yn y blynyddoedd dilynol.

I gael gafael ar nodweddau y pregethu mewn unrhyw oes, rhaid chwilio am danynt yn y pregethwyr; ac o ganlyniad rhaid mabwysiadu rhyw reol, er nas gellir ei dilyn gyda llawer o fanylwch, i benderfynu pwy yw y pregethwyr sydd yn perthyn i'r oes dan sylw. Ar y cyfan, hwyrach y gellir dywedyd mai yr oes y byddo dyn yn cydfyw â hi nes y byddo yn 45 neu 50 mlwydd oed, yw ei oes ef. Ac os felly, rhaid edrych ar amryw bregethwyr oeddynt yn lled amlwg yn mlynyddau cyntaf y ganrif bresennol yn perthyn yn fwy priodol i'r ganrif o'r blaen. O'r nifer yma y mae Robert Roberts, Clynnog, a fu farw yn 1802; David Jones, Llangan, a fu farw yn 1810; a Thomas Charles o'r Bala, a fu farw yn 1814. Mae eraill drachefn y gellir eu hystyried yn perthyn i'r ganrif bresennol, er eu bod wedi dechre pregethu gryn nifer o flynyddau, rai o honynt, cyn diwedd y ganrif o'r blaen. O'r nifer yma y mae Evan Richardson (1778–1824);* John Jones, Edeyrn (1784–1822); Ebenezer Morris (1788–1825); a Christmas Evans (1785–1838). Dechreuodd John Elias bregethu yn 1794; John Evans, New Inn, a Michael Roberts, yn 1796; ond buant yn oleuadau mawrion y pulpud Cymreig am y cwbl o'r deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif bresennol. Yn 1841 y bu farw Elias, yn 1847 y bu farw Evans, ac yn 1849 y bu farw M. Roberts. Y deugain mlynedd cyntaf o honi oedd oes weinidogaethol Williams o'r Wern (1800–1840); ac yr oedd oes weinidogaethol David Charles, Caerfyrddin (1808–1828), ac Ebenezer Richards (1803–1837), yn gwbl o fewn y deugain mlynedd hyn. Mae eraill a bregethasant am flynyddoedd lawer wedi 1840, ond a bregethasant yn hwy cyn y flwyddyn hono, megys Thomas Richards (1803–1856); John Hughes, Liverpool (1813–1860); William Roberts, Amlwch (1807–1864); William Morris, Cilgerran (1805–1861); a Thomas Rees Davies (1807–1859). Ond yr oedd y rhai hyn o ran cymeriad eu gweinidogaeth, oddieithr un neu ddau, yn perthyn yn llawn mor briodol i'r hyn a alwn "yr oes hon" ag i'r "oes o'r blaen;" ac felly yn sicr yr oedd John Jones, Talsarn (1821–1857), a Henry Rees (1819–1869). I'r oes hon y perthyn Rowland Hughes, Thomas Aubrey, Robert Thomas, John Phillips, ac Edward Morgan. Gwell yn ddiau ydyw gadael allan y rhai sydd yn awr yn fyw, ac a arbedir i ni, ni a obeithiwn, am flynyddoedd lawer.

Wrth siarad am y pulpud Cymreig, rhaid cofio am fodolaeth gwahanol enwadau. Am yr Eglwys Wladol gellir ei gadael allan, heb i hyny fod yn achos cyfreithlawn o dramgwydd i'w charedigion penaf; oblegid am lawer o'r ganrif bresennol nid yw wedi bod yn nemawr gwell na phe buasai heb bulpud o gwbl. Bu ynddi nifer o weinidogion gwir efengylaidd, a rhai o honynt yn bregethwyr rhagorol, yn enwedig yn y deng mlynedd ar hugain cyntaf o'r ganrif. Methodistaidd oeddynt hwy o ran mater a dull eu gwein-

* Mae y ffigyrau hyn, a'r rhai canlynol, yn dynodi y tymmor y bu y gwŷr hyn yn pregethu.

i logeth. Amlwg yw fod i bregethu pob enwad ei nodweddau gwahaniaethol, y rhai y dylid eu cymeryd i ystyriaeth wrth benderfynu cymeriad y weinidogaeth Gymreig. Ond nid oes genyf wybodaeth ddigonol am danynt i siarad gydag unrhyw hyder. Yr wyf yn tybio, pa fodd bynag, mai allanol ac arwynebol ydynt gan mwyaf, heb gyrhaedd i lawr at yr hanfodion ond i fesur bychan iawn. Ar y tir hwn cymeraf ryddid, pan y byddo anghen, i grybwyll enwau pregethwyr gyda'r Methodistiaid yn benaf, gan ddymuno arnoch gofio fy mod yn ystyried mai yr un nodweddau mawrion a phwysig a berthynant i'r weinidogaeth ymysg pob enwad.

Wrth siarad am y pregethu mewn unrhyw oes, cwbl naturiol ydyw cyfeirio ein sylw at y pregethwyr mwyaf ac amlycaf yn yr oes hono. Mae y tri enw, a fyddant yn enwau teuluaidd byth yn Nghymru—John Elias, Christmas Evans, a Williams o'r Wern—yn sefyll allan ar unwaith fel cynnrychiolwyr y pulpud Cymreig am y deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif bresennol. A oddefir i mi wrth fyned heibio ddymuno na byddo i neb geisio ychwanegu atynt unrhyw bedwerydd? Os gwneir hyny, y mae o leiaf hanner dwsin yn llawn mor deilwng o'r anrhydedd â'r neb yr amcana Paxton Hood ac eraill ei sicrhâu iddo. Ond y cwestiwn ydyw, Pa mor bell y mae yn gyfiawn penderfynu nodwedd y weinidogaeth yn y cyfnod hwnw oddiwrth weinidogaeth y tri hyn, a chewri eraill oeddynt yn cydoesi â hwynt? Un John Elias, un Christmas Evans, ac un Williams o'r Wern, a gododd Duw. Safai y tri yn gwbl ar eu penau eu hunain, heb neb i'w gymharu â hwynt yn eu hoes eu hunain nac mewn unrhyw oes arall. Onid y pregethwr cyffredin—yr *average preacher*—yw y dangosiad goreu o'r hyn ydyw gwir safon pregethu mewn unrhyw oes? Felly hwyrach yr ymddangosai ar lawer cyfrif. Ond yr anhawsder ydyw cael gafael arno. Pwy o honom a allai enwi, allan o'r holl bregethwyr o fewn cylch ei adnabyddiaeth, un ag y byddai dim tebyg i gydsyniad cyffredinol am dano fel dangoseg deg o safon pregethu y dydd heddyw? I feddwl rhai byddai yn uwch, ac i feddwl eraill yn îs, na'r *average*. Ac anmhosibl fyddai cael gafael arno mewn oes sydd wedi myned heibio. Ar y cyfan, gwell ydyw casglu cymeriad y weinidogaeth mewn unrhyw oes oddiwrth ei chewri nag oddiwrth neb arall. Os ydynt yn sefyll ar eu penau eu hunain, y mae eu delw ar bawb sydd o'u hamgylch; a gradd o'r ddelw hono sydd yn gwneyd eraill yn *current coin* yn eu hoes. Yr oedd yn mhregethwyr mawrion yr "oes o'r blaen" yr hyn y gellid ei alw yn *strong personality* neu *individuality;* ond un elfen yn y cryfder hwnw ydoedd y gallu i wneyd pobpeth gwerthfawr yn eu hoes yn feddiant iddynt eu hunain; a'r elfen arall ynddo ydoedd y gallu i roddi eu delw eu hunain ar y cwbl, a gwneyd iddynt ymddangos yn hollol wahanol ynddynt hwy i'r hyn oeddynt ymhob man arall. Mae pob dyn gwir fawr yn gyntaf oll yn greadigaeth ei oes, ac yn nesaf yn greawdwr yn ei oes. Ac wrth ystyried dylanwad eu hoes ar gewri y pulpud Cymreig yn nechre y ganrif hon, a'u dylanwad hwythau drachefn ar eu hoes, rhaid mai cyfiawn ydyw penderfynu oddiwrthynt hwy yn hytrach nag oddiwrth neb arall nodwedd pregethu eu hoes.

Byddai yn neillduol beryglus i farnu pregethu yr oes hono oddiwrth ddim ond cewri, oblegid oes y cewri ydoedd. Byddai yn hollol yr un peth â phe rhoddid desgrifiad o Gymru heb gymeryd i mewn ei mynyddoedd. Mae mynyddoedd Cymru y fath o ran maint a rhif ag sydd yn rhoddi iddi y cymeriad o wlad fynyddig; ac yr oedd yn y weinidogaeth yn nechre y ganrif bresennol gynifer o gewri ag a roddai iddi y cymeriad o weinidogaeth gawraidd. Felly yr ydoedd ymysg pob enwad, oddieithr fe allai y Wesleyaid. Yr wyf braidd yn tybio mai yn ystod y deugain mlynedd diweddaf yr ymddangosodd y pregethwyr mwyaf yn eu plith hwy. Nid oes ynwyf y dymuniad lleiaf i siarad yn isel am gychwynwyr Wesleyaeth yn Nghymru; ond fel pregethwyr yr oeddynt, dybygaf, yn llawer îs na chychwynwyr Methodistiaeth Galfinaidd, ac yn llawer îs na gwŷr blaenaf y Bedyddwyr a'r Annibynwyr. Cododd amryw wŷr galluog yn eu mysg yn y deng mlynedd cyntaf o'r ganrif; ond yn 1816 symudwyd amryw o honynt i lafurio yn Lloegr cyn cael cyfleusdra i adael yr argraff a wnaethent ar Gymru pe cawsent lonydd i aros ynddi. Ond gwir gawraidd oedd nodwedd y weinidogaeth Gymreig am y deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif bresennol.

Ein cwestiwn heddyw ydyw, I ba raddau y mae "pregethu" yr oes hon yn gwahaniaethu oddiwrth "bregethu" yr oes hono? Pa nodweddau a berthynai iddo yn yr oes hono sydd yn perthyn neu heb berthyn iddo yn yr oes hon, a pha nodweddau newyddion a berthynant iddo yn yr oes hon na pherthynent iddo yn yr oes o'r blaen?

Ar y cyfan yr wyf yn tybio y gellir dywedyd fod yr un cymeriad—yr un nodweddau mawrion, i'r weinidogaeth Gymreig ar hyd y ganrif. Nis gallaf yn y fan hon wneyd yn well, gyda chaniatâd yr awdwr parchedig, na dyfynu y crynhoad canlynol o nodweddau y weinidogaeth Gymreig, yn arbenig yn yr oes o'r blaen:—

"Amcan teg osod allan feddwl gwirioneddol ac uniongyrchol yr Ysbryd, yn y rhan o'r Ysgrythyr a ddarllenir fel testun;—eglurhâd helaeth a gofalus ar wahanol ganghenau yr 'athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb,' yn ol y testun neillduol a fyddo ar y pryd dan sylw, a hwnw yn eglurhâd llawer mwy manwl a dwfn nag sydd yn gyffredin yn mhregethu Lloegr, ac mewn dull mwy poblogaidd, a llawer llai pynciol, nag a arferir yn Scotland;—defnydd rhydd o gymhariaethau agos, naturiol, a chyffredin, ac yn hollol yn iaith y bobl, er egluro yr amrywiol wirioneddau a fyddont dan sylw, a hyny, ar y cwbl, heb ddarostwng dim ar urddas y pulpud yn nheimlad y rhai coethaf a phuraf eu chwaeth ymhlith y gwrandäwyr;—difrifwch a dwysder dull, fel ag i adael argraff ar feddwl y bobl fod y pwysfawrogrwydd mwyaf yn nghynnwysiad y genadwri, a mesur helaeth, ar yr un pryd, o gyd-ddealltwriaeth a chydymdeimlad dedwydd rhyngddynt â'r pregethwr,—yn caniatâu iddo ef fod yn rhydd iawn gyda hwynt, ac yn peri iddynt hwythau deimlo fel pe byddent yn cael eu gollwng i mewn i'w holl gyfrinach yntau;—cyfeiriad uniongyrchol at y gydwybod a'r galon, cyfaddas i adael argyhoeddiad yn meddyliau y gwrandäwyr fod neges neillduol ac arbenig gan yr efengyl atynt hwy yn bersonol;—ac, yn enwedig, teimlad gwresog ac angerddol, yn codi y pregethwr i'r fath hwyl, nes y mae yn dyrchafu ei lais megys udgorn, ac yn ymddangos yn ei anghofio ei hunan yn gwbl yn y pethau gogoneddus a draddodir ganddo."—*Cofiant John Jones, Talysarn*, tu dal. 968—9.

I ryw fesur y mae y nodweddau hyn yn parhâu yn nodweddau y pregethu Cymreig yn yr oes hon, er nad i'r un graddau yn ddiau âg yn yr oes o'r blaen. Mae un peth y gellir ei ddyweyd yn lled hyderus: nid oes un ymadawiad mawr ac amlwg wedi bod oddiwrth yr hen lwybrau a ddilynwyd gan y tadau. Mae yr holl enwadau, o drugaredd, yn myned rhagddynt "ar hyd ôl y praidd," ac yn parhâu i borthi eu mynod gerllaw pebyll yr hen fugeiliaid. Mae ffyddlondeb hollol yn y pulpud Cymreig i wirionedd yr efengyl—i'r athrawiaethau mawrion a adnabyddir fel Cristionogaeth efengylaidd. "Crist, a hwnw wedi ei groeshoelio," a bregethir. Ac o drugaredd, nid ydym o dan angenrheidrwydd i bregethu Carlyle, na darlithio ar ddygwyddiadau y flwyddyn, mewn pulpudau Cymreig, er mwyn hudo y gwrandäwyr i gyfleusdra i daflu gair i mewn yn eu clywedigaeth am iachawdwriaeth eu heneidiau. Yn y wedd hon nid oes neb wedi gwneyd cais at symud yr hen derfyn a osododd y tadau.

Ar yr un pryd, amlwg ydyw fod cryn gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn y wedd y cyflwynir cenadwri yr efengyl, yn enwedig yn y Weinidogaeth Fethodistaidd,—cyfnewidiad sydd, fel y dangosir yn *Nghofiant John Jones*, yn fwy dyledus iddo ef nag i unrhyw berson unigol arall. A chan belled ag y mae hyn yn myned, diau fod y cyfnewidiad yn welliant. Ac mewn un peth arall cysylltiedig â hyn y mae gwelliant amlwg, sef fod y wedd ddadleuol oedd mor nodweddiadol o bregethu y 30 mlynedd cyntaf o'r ganrif wedi gwisgo ymaith yn hollol. Rhaid i'r gwrandäwr cyffredin erbyn hyn sylwi ar ddull, osgo, tôn, neu iaith pregethwr dyeithr, cyn y gall benderfynu i ba enwad y perthyna. Y perygl ydyw ein bod, ar ol colli yr ysbryd dadleuol, wedi colli hefyd y dyddordeb yn athrawiaethau yr efengyl, a'r meddylgarwch yn eu cylch, ag oedd yn nodweddu pregethwyr a gwrandäwyr yr oes o'r blaen. Onid oes lle i ofni fod absenoldeb dadleuaeth yn arwyddo difaterwch yn hytrach nag unrhyw argyhoeddiad dwfn ein bod yn un gyda golwg ar wirioneddau mawrion a hanfodol ein crefydd? Ond gwelliant yn ddiau ydyw fod cenadwri yr efengyl at y byd wedi cau allan i raddau mor helaeth o'r weinidogaeth nodweddion gwahaniaethol ein credoau eglwysig. Pe gallem gael hyn, a chael hefyd gydag ef ffydd ddiderfyn cychwynwyr Wesleyaeth ar y naill law, yn y wedd neillduol y cyflwynent hwy drefn Duw i'r byd, ac argyhoeddiad dwfn y Tadau Methodistaidd ar y llaw arall o wirionedd eu gwedd hwythau ar yr un drefn, byddem yn rhywle yn nghymydogaeth y perffeithrwydd a ddymunem.

Ond os oes gwelliant yn y pethau hyn, amlwg yw y gelwir arnom i siarad yn wahanol am y cyfnewidiad sydd wedi cymeryd lle mewn cyfeiriadau eraill. Yr wyf yn tybio y rhaid addef fod y pregethu ar y cyfan yn llai Biblaidd nag yn yr oes o'r blaen. Mae nodwedd Fiblaidd yn ddiau ar y weinidogaeth yn y ddwy oes. Ac mewn eglurhadaeth Ysgrythyrol yr ydym yn ddiddadl wedi symud llawer ymlaen. Yr oedd yn wir gan rai o bregethwyr yr oes ddiweddaf allu neillduol i esbonio geiriau ac adnodau yn y fath fodd ag i ddwyn meddyliau eu gwrandäwyr i fod byth wedi hyny yn gwbl gartrefol gyda hwynt. Yr engraifft fwyaf nodedig o'r gallu hwn ydoedd John Elias; ond yr oedd gradd o'r un gallu yn perthyn i eraill. Yn William Roberts, Amlwch, yr hwn oedd yn sefyll yn nês i'r oes hon nag Elias, yr oedd yn dra helaeth; ac yn wir yr oedd efe yn rhagori ar Elias mewn gallu i olrhain ymresymiad mewn adran o'r Ysgrythyr,—i gymeryd gafael yn ei holl ddolenau, ac i'w ddilyn i'w holl ganlyniadau. Er hyny dichon fod yn awr yn fyw rai yn rhagori ar y ddau fel esbonwyr Ysgrythyrol, er nad yw mor hawdd desgrifio eu rhagor-

iaeth hwy. Nid ydynt yn rhagori ar William Roberts mewn gwreiddiolder, annibyniaeth, na nerth meddwl, nac yn gyfartal i Elias yn y gallu i boblogeiddio eglurhadaeth Ysgrythyrol; ond y maent ar yr un pryd yn rhwym o gael eu cydnabod yn uwch na'r ddau fel esbonwyr, yn benaf, fe ddichon, o herwydd y fantais neillduol sydd ganddynt trwy y cynnydd dirfawr mewn beirniadaeth ac eglurhadaeth Ysgrythyrol yn y deugain mlynedd diweddaf, ac i raddau mawr hefyd o herwydd dysgyblaeth uchel eu meddyliau eu hunain, a chydnawsedd nodedig rhwng eu hysbryd â chynnwys yr ysgrifeniadau sanctaidd. Ond os cymherir y ddwy oes yn eu cyfanrwydd, nid oes un ammheuaeth nad yw yr oes hon yn tra rhagori ar yr oes o'r blaen mewn esboniadaeth. Nid medr i esbonio adnodau gydag unrhyw gywirdeb oedd yn galluogi pregethwyr yr oes o'r blaen i fod yn ffyddlawn i'r gwirionedd yn eu pregethau; yn hytrach yr oeddynt yn medru bod yn ffyddlawn iddo er llawer o gamgymeriadau digrifol ac anfaddeuol braidd mewn esboniadaeth,—camgymeriadau a fyddent yn gwbl anfaddeuol, ond o drugaredd ydynt yn gwbl anmhosibl, yn yr oes hon.

Ond er addef hyn oll, nid wyf yn credu y gelwir arnaf i alw yn ol y sylw fod y pregethu yn yr oes o'r blaen yn fwy Biblaidd nag ydyw yn awr. Y pryd hwnw yr oedd y pregethau yn llawn at yr ymylon o adnodau, ac yn cael eu cyfansoddi yn fynych heb unrhyw gynnorthwyon heblaw Bibl a Mynegair, gweddi a myfyrdod. Adnodau oeddynt o'r dechre i'r diwedd, gydag ychydig sylwadau i gydio yr adnodau â'u gilydd. Mae defnydd medrus o adnodau ac ymadroddion Ysgrythyrol yn nodweddu y pregethu goreu yn yr oes hon; ond nid ydynt yn cael eu defnyddio i'r un graddau ag y gwneid yn yr oes o'r blaen. Wrth ddarllen yn ddiweddar bregeth Elias yn Nghymdeithasfa Pwllheli yn 1825 ar ol marwolaeth Ebenezer Morris a David Evans, cyfrifais ei fod naill yn dyfynu neu yn cyfeirio at tuag wyth ugain o adnodau. Ac yr oedd yr un peth yn wir am lawer o oreuon y pulpud yn eu dyddiau hwy a dyddiau eu rhagflaenwyr; a pheth tra chyffredin i bregethwyr bychain oedd cynnorthwyo byrdra eu doniau trwy gyflawnder o adnodau yn cael eu cysylltu wrth y testun yn fynych trwy air neu eiriau yn hytrach na thrwy wir berthynas o ran mater a chynnwys. Wedi colli ei lwybr wrth bregethu rywdro, fel y gwnai yn dra mynych, ac yn twymno gydag adnod ar ol adnod a ddeuent i'w gyfarfod, dywedai Robert Thomas, Llidiardau, "Dyma ydi pregethu, 'mhobl i: gweiddi adnodau yn ysbryd yr efengyl." Dyna, pa fodd bynag, oedd llawer o'r pregethu a ireiddiodd sychder Cymru yn yr oes o'r blaen; a da fyddai i'r *Mynegair* eto gael ei adfer i le mwy amlwg a phwysig yn llyfrgell llawer pregethwr. O leiaf byddai yn dda i lawer wneyd fel y dywedai Griffith Williams, Talsarnau, yr hoffai ef wneyd,—"Bydd yn dda iawn genyf," meddai, "pan y bydd genyf bregeth newydd, gael myn'd i'w phregethu hi yn N——u, er mwyn cael adnodau i'w rhoddi ynddi gan ——," sef yr hen ddiacon parchus yn y lle hwnw. Mae yr hen dad hwnw mor gyfarwydd yn yr Ysgrythyrau fel y mae, wedi codi yn y cyfarfod eglwysig ar nos Sabboth i wneyd sylwadau ar y bregeth, yn disgyn bron yn reddfol ar bob adnod, yn enwedig yn epistolau Paul, a fyddo yn meddu perthynas gyfreithlawn â mater y bregeth. Gallai blaenoriaid o'r fath fod yn gymmhorth gwerthfawr i lawer yn eu gweinidogaeth. Mae yn llawn bryd, pa fodd bynag, roddi heibio yr arfer yr ymddengys rhai wedi disgyn iddi o chwilio am y testun ar ol cyfansoddi y bregeth.

Yn nesaf, nid yw y pregethu yn awr mor syml ag ydoedd yn yr oes o'r blaen. Mae y bregeth fawr, y bregeth alluog, wedi dyfod erbyn hyn i fri neillduol gyda dosbarth lliosog. Gwreiddiolder, newydd-der, a chyflawnder y drychfeddyliau yn y bregeth, sydd bellach i fesur helaeth yn rhoddi y cymeriad o bregethwr mawr. Ac y mae yr ammodau hyn wedi gwasgu aml un i'r anghenrheidrwydd poenus o yspeilio estroniaid ymhob gwlad, ac hyd yn nôd eu cyfeillion yn eu gwlad eu hunain, er mwyn croesi yr anialwch ac ymsefydlu yn gysurus yn Nghanaan eu henwogrwydd. Pethau dyeithr i gewri yr oes o'r blaen oedd y rhai hyn. Ni byddai nemawr o sôn am y bregeth alluog gyda hwy. Darllenent hwythau yn helaeth, a benthycient yn ddibetrus, ond nid fel, ac nid i'r un amcan â benthycwyr mwy medrus y dyddiau diweddaf.

Mewn cysylltiad â hyn, gellir sylwi fod gwêdd llawer mwy traethodol ar bregethau yn awr nag yn yr amser a aeth heibio. Pregethau oedd traethodau yr oes o'r blaen; traethodau yw pregethau yr oes hon. Ac mewn canlyniad nid yw y pregethu mor agos o lawer at y gwrandäwyr. Mae hyn yn codi hefyd o'r hyn a nodwyd o'r blaen,—defnydd llai o'r Bibl yn y pregethau. Esgeulusir yr Ysgrythyrau, oddieithr gan nifer bychan, fel y prif faes i chwilio ynddo am gymhariaethau, ac ymofynir am danynt mewn meusydd llai adnabyddus i lïaws y gwrandäwyr. Gall y cymhariaethau hyn beri mwy o syndod, ond cariant lawer llai o effaith ar y meddwl a'r galon. Mae holl gyfansoddiad y bregeth wedi ennill llawer mewn trefnus-

rwydd, ond y mae wedi pellhâu trwy hyny oddiwrth y bobl. Mewn traethawd nis gellir ond siarad *am* y bobl; siarad *wrth* y bobl yw pregethu. Dyma wnai y tadau. Byddai pob dammeg ganddynt hwy yn sicr o derfynu gyda y geiriau, "Ti yw y gŵr." Mae y pethau hyn oll yn codi i fesur mawr o gynnydd addysg ymysg ein pregethwyr; ac y mae addysg ein pregethwyr yn anghenrhaid o herwydd cynnydd addysg ymysg y gwrandäwyr. Byddai yn dda iawn i ni yn fynych gofio nad ydoedd y tadau, lawer o honynt, er bod yn amddifad o addysg, ar un cyfrif yn amddifad o wybodaeth. Yr oedd llawer o honynt yn gwybod mwy am destun gwreiddiol yr Hen Destament a'r Newydd nag a ŵyr lliaws o bregethwyr yr oes hon, er treulio blynyddoedd mewn athrofa. Ac yr oedd gwybodaeth gyffredinol rhai o honynt, yn nghanol llawer iawn o anfanteision, yn annhraethol eangach na'r eiddo ond ychydig o bregethwyr yr oes hon. Ond y mae addysg er hyny yn llawer mwy cyffredin, ac y mae y pethau a nodwyd yn codi i fesur mawr allan o honi, ond i raddau mwy yn ddiddadl o golli yn ormodol y syniad o feddwl y pregethwr mai *cenad* oddiwrth Dduw ydyw, ac mai *cenadwri* sydd ganddo i'w thraddodi wrth y bobl. Gallai y neb a redai ddarllen yn ngweinidogaeth tadau yr oes o'r blaen, "Yr ydym ni yn genadau dros Grist, megys pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw." Traethent y genadwri, ac edrychent ar unwaith am yr effaith briodol iddi; gofynent y cwestiwn, a chwilient am yr ateb yn y man a'r lle yn ocheneidiau a dagrau eu gwrandäwyr. Dyma nodwedd y pregethu goreu yn yr oes hon, a dyma, ni a obeithiwn, nodwedd y rhan fwyaf o'r pregethu; ond ofer yw ceisio cuddio y ffaith y cwynir o'i herwydd mor fynych gan y rhai mwyaf craffus o'n gwrandäwyr, —fod gormod o lawer o'r traethawd erbyn hyn yn y bregeth. Nid da oedd y cwbl yn null y tadau, ac nid drwg yw y cwbl yn y dull presennol; ond y mae y gwahaniaeth rhwng y ddau yn rhy amlwg i geisio ei gelu.

Drachefn, y mae y pregethu yn awr yn llai naturiol nag y bu. Mae pregethwyr erbyn hyn yn debycach i'w gilydd nag oeddynt yn yr oes o'r blaen. Effaith addysg ydyw hyn hefyd. Dilynai yr hen bregethwyr eu natur eu hunain i raddau mwy nag y gwneir hyd yn nôd gan oreuon yr oes hon. Yr oedd dynwaredwyr, yn wir, yn yr oes hono. Ac yr oedd yr un nodweddion iddynt ag sydd i ddynwaredwyr yr oes hon, sef eu bod yn dynwared diffygion yn hytrach na rhagoriaethau. Yr oedd gan John Elias haid o ddynwaredwyr, a'r un modd gan Christmas Evans. Hwyrach mai dylanwad y diweddaf oedd y mwyaf niweidiol yn y wedd hon o neb o'i gydoeswyr, er nad yw efe mewn un modd i'w ddal yn gyfrifol am hyny. Ei ddynwaredwyr ef, pa fodd bynag, oedd y rhai mwyaf dirmygedig o bob dynwaredwyr, am fod ei ragoriaethau o'r fath fwyaf anhawdd i neb ond dynion o'r un teithi a maintioli meddyliol âg yntau ymdebygu iddo ynddynt, tra yr oedd ei ddiffygion y rhai hawddaf i bob math ei ddilyn ynddynt, er bod yn gwbl amddifad o'r gallu meddyliol a'r lledneisrwydd teimlad oedd ynddo ef yn dyrchafu ac yn sancteiddio hyd yn nôd y diffygion. Ond wedi'r cwbl, yr oedd natur yn eu hoes hwy yn cael mwy o le i ymddadblygu yn ol ei thueddiadau ei hun. Erbyn hyn y mae yr hyn a elwir *character* yn dra anghyffredin, a'r perygl yn demtasiwn i ambell un geisio ymddangos felly heb fod ganddo un hawl gyfreithlawn i hyny. Y rheol bellach ydyw fod yr un ddelw ar bawb sydd yn dyfod allan o'r un athrofa; ond colled anocheladwy ydyw hon, a rhaid dygymmod â hi oreu y gallom.

Yr wyf yn ofni y rhaid ychwanegu fod y pregethu wedi colli mewn urddas ac awdurdod yn yr oes hon. Nid yw gweinidogaeth urddasol, o drugaredd, wedi diflanu. Yr oedd urddas arbenig ar bregethu John Jones, Henry Rees, a William Roberts; ac y mae urddas eto ar weinidogaeth aml un o'u holynwyr sydd yn aros; ond nid yw mor gyffredin âg ydoedd yn yr ugain, ac yn wir yn y deugain, mlynedd cyntaf o'r ganrif hon. Golwg ardderchog oedd y pryd hwnw ar *front* y Gymdeithasfa. I lawer o'r hen dadau, yr oedd corff yn dra manteisiol i urddas eu gweinidogaeth. Mae dirywiad amlwg iawn yn y wêdd hon yn mhregethwyr y dyddiau hyn. Ond nid urddas corff oedd yr urddas. Yr oedd yn perthyn i weinidogaeth Robert Roberts, a Christmas Evans, ac yr oedd llawer o hono yn ngweinidogaeth Edward Morgan, er nad oedd presennoldeb y corff iddynt hwy yn fantais o gwbl. Un fantais i'r urddas hwn ydoedd y teimlad a'u nodweddai eu bod o ddanfoniad Dwyfol. Llefarai y tadau "yn enw yr Arglwydd." Ac yr oeddynt, nid yn unig yn eu teimladau eu hunain, ond hefyd yn nheimladau eu gwrandäwyr, yn genadau dros Grist.

Ar ol y sylwadau uchod, yr wyf yn gwybod yn dda nad wyf eto wedi cyffwrdd â'r *peth* sydd yn gwneyd y prif wahaniaeth rhwng pregethu yr oes hon a'r oes o'r blaen. Ac nis gallaf ei gyffwrdd ychwaith. Yr wyf wedi ymholi llawer am dano oddiwrth y rhai a wrandawsant bregethwyr yr oes o'r blaen. Ac y mae pawb yn cyttuno ei fod yn gwbl annesgrifiadwy. Dyma

dystiolaeth y rhai mwyaf profedig, fel y rhai anmhrofedig. Ac y mae hyn yn fy ngorfodi i gredu fod y peth hwn yn *ysbryd*. Ond pa syniad dealladwy er hyny a gyflwynid pe dywedid fod ysbryd y weinidogaeth yn yr oes o'r blaen yn wahanol i'r hyn ydyw yn yr oes hon? Mae yn demtasiwn weithiau i rai wedi eu geni o fewn y deugain mlynedd diweddaf farnu gweinidogaeth y tadau oddiwrth ystadegau yr eglwysi. Mae y Methodistiaid wedi dyblu yn y 30 mlynedd diweddaf. Os gwnaethant yr un peth yn y 30 mlynedd blaenorol, nid oedd nifer holl Fethodistiaid Gogledd Cymru yn 1820 yn 30,000. A dyma ffrwyth y weinidogaeth rymus yn y Gogledd am ddegau o flynyddoedd. Ond amlwg yw, wedi moment o ystyriaeth, nas gall fod dim grym mewn gwrthddadl o'r fath yma. Myned i mewn i'w llafur hwy yr ydym ninnau hyd heddyw. Peth ofnadwy fawr oedd codi Cymru o'r cwsg oesol yr oedd wedi syrthio iddo cyn dechre y Diwygiad Methodistaidd. Ond y mae tu hwnt i bob ammheuaeth fod "rhywbeth" yn mhregethu yr oes o'r blaen sydd erbyn hyn wedi ei golli. Ar ryw ystyr y mae pregethau yn awr gystal âg erioed. Yn wir y mae'r *pregethau* yn well, ond yr oedd *pregethu* yr oes o'r blaen yn rhagori. I'w darllen nid oes un gymhariaeth rhwng pregethau y goreuon o'r tadau, oddieithr, hwyrach, ambell eithriad fel David Charles, Caerfyrddin, a llawer o bregethau y deugain mlynedd diweddaf. Beth yw pregethau Elias yn ymyl pregethau Henry Rees? Pwy erioed yn y deugain mlynedd cyntaf o'r ganrif a gynnyrchodd y fath bregethau â phregethau Edward Morgan? Pa le y ceid dim cyffelyb i dlysni toddedig pregethau Roberts Wrexham? Am y gŵyr hyn, yr oedd yr eneiniad yn aros ar eu pregethau hwy i fesur nodedig yn y traddodiad o honynt. Cododd Rees gyfansoddiad y bregeth i dir uwch nag y bu arno erioed, heb golli y nerth a'r awdurdod oedd yn cydfyned â gweinidogaeth y tadau; ond gwyn fyd na byddai yn aros eto yn yr un graddau mewn llawer sydd yn efelychwyr teilwng iddo yntau fel cyfansoddwyr, eithr ydynt er hyny i raddau mawr yn amddifad o'i ysbryd! Mae y pregethau genym; ond nid yw y nerth, nid yw yr awdurdod ynddynt, nid yw y peth ynddynt ag oedd yn gwneyd pregethau y tadau yn fywyd o feirw i'w gwrandäwyr. Pa le y mae yn awr effeithiau tebyg i'r hyn a ddilynai weinidogaeth David ac Ebenezer Morris, John Elias, Michael Roberts, ac eraill? Cafodd y rhai uchod bregethau yn eu hoes ag yr oedd pob lle i gredu i bob enaid oedd yn gwrando gael eu hachub trwyddynt. Pa le yn awr y mae pregethau tebyg i bregeth Elias yn Mhwllheli, a Michael Roberts yn Llanidloes? O dan y ddiweddaf, yr oedd pob lle i gredu fod mil o eneidiau wedi eu hachub. Ofer hwyrach yw ceisio ymholi, am y rheswm fod "y peth" wedi ei golli. Esboniad digonol gan Galfiniaid o'r hen ysgol, fe ddichon, a fuasai, mai "gwynt" ydyw, a bod y gwynt yn chwythu lle y myno; ond y gwir reswm yn ddiau yw, fod pregethwyr a gwrandäwyr yn awr yn llawer pellach oddiwrth Dduw nag oeddynt yn amser y tadau. Sicr yw fod y gwrandäwyr wedi newid llawn cymaint a'r pregethwyr. Yr oedd rhyw bryder y pryd hwnw am wyneb Duw ar y weinidogaeth sydd wedi ei golli yn awr. Ond yn hytrach na chwilio am y peth hwn a'r peth arall i esbonio y gwahaniaeth,—megys mwy o bregethu bellach ymhob cwmwd a thref, y pregethwyr yn amlach ond yn pregethu yn anamlach, ac yn ymdaflu felly yn llai o lawer i ysbryd eu gwaith, a'r cyffelyb, gwell ydyw cydnabod ar unwaith fod y gwir reswm am y cwbl i'w gael mewn pellder mwy oddiwrth Dduw.

Ac os gwir hyn, dylem betruso cyn ymgysuro yn yr ystyriaeth a gynnygir weithiau, sef fod y weinidogaeth yn awr mor gyfaddas i'r oes hon ag ydoedd gweinidogaeth y tadau i'w hoes hwythau. Ammheuir yn fynych a fuasai yr un dylanwad yn awr yn canlyn gweinidogaeth llawer o'r tadau pe cawsem ei mwynhâu; ac ymgysurir yn y syniad fod Duw yn gofalu am y doniau mwyaf cyfaddas i gyfarfod anghenion pob oes. Ond nid yw mewn un modd yn ddiogel i ni lechu yn ormodol yn nghysgod *optimism* o'r fath. Os oes llai o Dduw yn y weinidogaeth yn awr nag oedd yn ngweinidogaeth ein tadau, nis gall fod mor gymhwys hyd yn nôd i'r oes hon ag a fuasai eu gweinidogaeth hwy. Nesâu at Dduw a ddylem, ac efe a nesâ atom ni. Dichon, er hyny, na welir byth y weinidogaeth mor gyffrous yn ei heffeithiau ag y bu; ond os daw Duw i'r golwg, bydd yr un mor hawdd ei adnabod, pa ffurf bynag fydd ar ei weithrediadau. Cân belled ag y gallaf fi ddarllen arwyddion yr amseroedd, nid yw ein rhagolygon yn obeithiol yn y dyfodol. Llai grymus, yn ol pob tebyg, fydd y weinidogaeth Gymreig ymhen ugain mlynedd nag ydyw yn awr; ac y mae yn lled sicr y rhaid edrych am ogoniant mwyaf ein cymanfaoedd a'u huchelwyliau yn yr amser a fu. Un peth yn unig a all ein hachub: ymweliad Duw â'i bobl, i lanw y prophwydi y sydd ac i gyfodi prophwydi eraill yn ein plith yn ysbryd a nerth ein tadau.

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

### ATHRAWIAETH ETHOLEDIGAETH.

*Gan y Parch.* J. S. SPENCER, D.D., *New York.*

*(Parhâd o tu dalen 57.)*

YR hwyr nesaf ond un, efe a alwodd gyda mi drachefn. Ymesgusododd am alw mor fuan, gan ddyweyd nas gallasai aros hyd yr adeg arferol, a'i fod yn awyddus am gael fy ngweled ei hunan. Dechreuodd yn ebrwydd siarad am etholedigaeth. Dywedodd ei fod wedi ceisio, ond nas gallai, beidio meddwl am y mater hwn. Yr oedd yn credu mai'r diafol oedd yn ei ddodi yn ei feddwl, canys dyma a ddeuai ato wrth weddïo, wrth ddarllen, a chyda phobpeth y ceisiai ei wneuthur neu feddwl am dano. Yna aeth ymlaen i ddyweyd ei fod yn credu yn rhagwybodaeth Duw, ond yr oedd yr *arfaethau* yn ei ddyrysu; nis gallai gymmodi rhagluniaethiad ac ewyllys rydd. Weithiau byddai yn meddwl, os oedd ef i gael ei achub, mai felly y byddai yn sicr, ond os amgen, nas gallai ei helpio ei hun. Edrychai yn awr ac eilwaith ar yr athrawiaeth fel un nas gallai ond ei lwfrhâu, a theimlai yn wrthwynebus i Dduw fel meistr caled. Bryd arall byddai yn digio wrtho ei hun. Felly yr oedd yn cael ei luchio oddiamgylch heb lonyddwch, ac yn fynych yn cael ei boeni gan yr ofn y byddai efe heb grefydd byth. Ac yr oedd arno eisieu i mi ddyweyd pa beth oedd ganddo ef i'w wneuthur, a pha sut yr oedd efe i feddwl am athrawiaeth etholedigaeth. Ar ol iddo ddywedyd y cwbl a ewyllysiai, mi a'i hatebais,—

"Y mae yn dda genyf eich gweled, ac yr wyf yn ddiolchgar am i chwi ddyfod ataf. Mae yn ddrwg genyf eich bod mewn cymaint o drafferth ddianghenrhaid; ac yr wyf yn bur barod i ddyweyd wrthych yr oll a wn i am yr athrawiaeth sydd yn eich trallodi. Ond cyn i mi fyned ymhellach, dymunwn ddyweyd wrthych drachefn mai tebyg ydyw nas gallaf eich boddloni o gwbl. Mi a allaf eich ymlid ymaith oddiwrth rai o'ch camgymeriadau, ond nis gallaf eich tawelu a'ch boddloni."

"Paham nas gellwch?" ebe efe yn awyddus.

"Yn unig am nas gellwch chwi foddloni i ewyllys Duw. Yr ydych yn wrthwynebol iddo. Yn hyna y mae eich holl anhawsder yn gorwedd. Nid ydych yn hoffi y syniad am ei benarglwyddiaeth dragywyddol, am nad yw eich calon yn hoffi Duw. Gall fod eich pen yn cyfeiliorni mewn llawer o bethau, ond mae eich calon yn gyfeiliornus ymhob peth. Mae arnoch eisieu calon newydd. Pe byddech wedi eich gwir gymmodi â Duw, chwi a gymmodech â rhagluniaethiad,—nid fel yr ydych yn camddarlunio hyny, ond fel y mae mewn gwirionedd. Ac y mae arnaf eisieu i chwi gofio hyn, a chofio yr hyn a ddywedais wrthych o'r blaen, fod yn rhaid i chwi, ar ol eich holl astudio, a chwestiyna, a chwerylu ynghylch arfaeth Duw, ddyfod yn y diwedd i ddechre gyda galwad Duw—y galwad sydd yn gorchymyn i chwi edifarhâu, ac yn eich gwahodd at yr iachawdwriaeth rad a chyflawn a ddarparodd Duw ar eich cyfer. Gadewch i mi adrodd hanesyn i chwi. Ychydig amser yn ol yr oedd gweinidog adnabyddus i chwi yn dyfod o'r pulpud yn ninas New York, wedi bod yn pregethu ar benarglwyddiaeth Duw, pan y daeth gwraig o feddwl cryf a dygiad i fyny rhagorol i'w gyfarfod at risiau'r pulpud, gan ddiolch iddo yn wresog am ei bregeth. 'O syr,' ebe hi, 'cefais lês wrth eich gwrando. Yr wyf wedi bod ar hyd fy oes yn ymboeni gydag athrawiaeth etholedigaeth. Bum yn ei hastudio yn ofer am dros ugain mlynedd. Ond yr wyf yn awr yn deall beth oedd yr achos. Nid oeddwn yn gwbl ewyllysgar i Dduw fod yn Dduw.' A phan ddeloch chwithau, fy nghyfaill, yn gwbl ewyllysgar i Dduw fod yn Dduw, ni bydd etholedigaeth yn eich blino mwyach."

"Yr wyf yn eich sicrhâu," ebe efe, "i mi geisio gollwng y mater o fy meddwl, ond nis gallwn. Ac yr wyf yn bryderus iawn am i chwi fy nad-ddyrysu, os medrwch. O'r hyn lleiaf, eglurwch eich meddwl ar y pethau y cyfeiriais atynt pan y daethum i mewn."

"Yna gwrandewch arnaf fi," meddwn i; "a byddaf mor fyr ag y gallaf. Gadewch i mi ddyweyd i ddechre mai nid fy athrawiaeth i yw rhagluniaethiad, ond yr eiddo Duw. Efe a'i dododd yn ei lyfr sanctaidd, ac nis gellwch chwi na minnau ei gyru oddiyno. Mae'r cyfryw eiriau ag ethol, arfaethu, rhaglunio, yn y Bibl. Rhaid i ragluniaethiad a gair Duw sefyll neu syrthio ynghyd.

"Rhagluniaethiad yw bwriad tragywyddol Duw i lywodraethu ei greadigaeth yn gymhwys fel y mae yn ei llywodraethu. Pwy bynag sydd yn foddlawn i Dduw lywodraethu fel y mae, nis gallaf ddeall paham y gwnai hwnw anfoddloni wrth ragfwriad Duw am lywodraethu fel hyn. Arfaethau Duw yw rheolau ei weithrediad ei hun, ac nid yr eiddom ni. Nid ydynt ddim amgen na'i gynlluniau doethion, tragywyddol, ac anghyfnewidiol ef ei hun, yn ol pa rai y mae efe yn dewis

gweithredu. Mae yn rhaid fod ganddo gynllun o'r hyn a wna; ac onidê, beth am ei ddeall a'i ddoethineb? Nes iddo ef weithredu, nis gwyddoch chwi ddim am ei gynllun, am ei ragluniaethiad; ac felly nid ydyw ddim i chwi pa un a ydyw efe yn awr yn ordeinio yr hyn a wna o foment i foment, ai ynte a ydyw efe er tragywyddoldeb wedi rhagordeinio beth bynag a ddygwydd. Nid deddfau i'w greaduriaid ydyw ei arfaethau ef, ond rheolau iddo ei hun. Gallwch chwi fod heb hoffi ei drefn ef o weithio; ond y mae efe wedi ystyried yn bwyllog beth i wneyd, heb ofyn eich cynghor chwi; a da y gwnewch arafu cyn anturio beirniadu ychwaneg arno ef, 'y Goruchel a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb.' Yn unig boddlonwch i adael *i Dduw fod yn Dduw.*"

"A ydych chwi yn dywedyd," gofynai efe, "nad yw arfaethau yn effeithio ond yn unig ar ei weithredoedd ef? ai nid ydynt yn effeithio ar yr eiddom ninnau hefyd?"

"Dywedyd yr wyf fi mai *rheolau* i'w weithredoedd ef ei hunan yn unig ydynt, ac nad ydynt yn effeithio yn *uniongyrchol* ar yr eiddom ni. Y maent hyd yn nôd yn anwybyddus i ni. Ei fwriadau dirgeledig ydynt, wedi eu cloi i fyny yn ei feddwl ei hun, ac yn anhysbys i bob angel yn y nefoedd hyd nes y dewiso efe eu hysbysu. Nis gall bwriad dirgel yn fy meddwl i effeithio arnoch chwi. Nid ydych yn ei weled, ei glywed, ei deimlo, na gwybod dim yn ei gylch. Gellwch chwi feddwl fod genyf gyfryw fwriad, a'r meddwl hwnw a all effeithio arnoch, a dyna'r cwbl. Felly am ragordeiniad Duw. Nid yw yn cyffwrdd â neb; nid oes neb yn ei deimlo; y cyflawniad o hono gan Dduw sydd yn unig yn effeithiol. Llywodraeth Duw, a dim ond ei lywodraeth, yw yr hyn a deimlir. Os rhaid i chwi gael achwyn gan hyny, achwynwch ar lywodraeth Duw, ar ei ragluniaeth, ac nid ar yr arfaethau dirgel nas gwyddoch dim am danynt, ac nad ydynt yn eich cyffwrdd."

"Wel," ebe efe, 'mae hyn yn newydd i mi. Ni feddyliais am hyn o'r blaen. Ond, os wyf fi yn eich deall, nid oes genym ni ddim i wneyd âg arfaethau Duw."

"Dim ond boddloni eu bod gan Dduw, a'i fod ef yn eu cyflawni. Dyma fi â'm holl egni wedi ceisio eich perswadio i beidio ymyraeth â hwy, ond ufuddhâu o honoch i alwad yr efengyl, a gadael i Dduw gymeryd gofal ei arfaethau ei hun."

"Ond pa fodd," medd efe, "yr ydych chwi yn cymmodi rhagluniaethiad Duw a rhydd-weithrediad dyn?"

"Ni byddaf fi byth yn ceisio, am nad oes eisieu eu cymmodi. Nid yw'r naill mewn rhyfel â'r llall. Mae Duw wedi rhagordeinio i ddyn fod yn weithredydd rhydd; ac felly y mae efe. Yr arfaeth dragywyddol yw yr hyn a sicrhaodd ei rydd weithrediad. Duw a ragluniaethodd ryddid ewyllys dyn. Oddiyma y mae dyn yn rhydd pan yn pechu, ac yn rhydd pan yn edifarhâu am bechod; mae yn rhydd pan yn casâu Duw ac yn rhydd pan yn ei garu; mae yn rhydd pan yn esgeuluso yr iachawdwriaeth ac yn rhydd pan yn ceisio Duw â'i holl galon. Mae ei gaethiwed dan bechod yn gaethiwed ewyllysgar. Ac eto y mae yn wir nas gall efe ei achub ei hun, ond y rhaid iddo wrth ddylanwad uniongyrchol yr Ysbryd Glân i adnewyddu ei ewyllys gyndyn a'i berswadio i dderbyn Iesu Grist yn Iachawdwr.

"Ond cymerwch olwg arall ar y mater. Mae gwirioneddau, o anghenrheidrwydd, yn gyson bob amser. Dyma un gwirionedd: Duw yn rhagluniaethu. Felly y dywed y Bibl; ac y mae fy rheswm fy hun yn fy nysgu y rhaid fod Duw yn ddigon doeth i feddu ar gynllun i'w weithrediadau. Dyma wirionedd arall: dyn yn rhydd. Gŵyr hyn oddiar ei ymwybodolrwydd. Gŵyr ei fod yn gweithredu o'i rydd dewisiad ei hun yn gystal ag y gŵyr am ei fôd ei hun. Mae yn teimlo ei fod yn gyfrifol am ei weithredoedd. Mae yn rhaid gan hyny fod y ddau wirionedd yma yn gyson, heb eisieu eu cymmodi â'u gilydd."

"Yr wyf yn gwybod fy mod *yn rhydd,*" ebe efe.

"Ac yr ydych yn gwybod fod Duw yn rhagordeinio?" meddwn innau.

"Ydwyf," medd efe; "rhaid mai felly y mae. Mae 'r Bibl yn dyweyd hyny; a phe amgen, ni fyddai yn Dduw doeth."

"Mae hyny, ynte, yn ddigon," dywedais innau; "pa beth mwy sydd arnoch ei eisieu?"

Efe a eisteddodd am enyd mewn dystawrwydd; ac yr oedd yn amlwg ei fod yn dwys fyfyrio. O'r diwedd efe a ofynodd yn dra gwylaidd, "Ond os yw Duw yn rhagordeinio i fywyd tragywyddol, paham y mae gan ddynion unpeth i'w wneyd tuag at fod yn gadwedig?"

"Am fod Duw wedi rhagordeinio mai felly y maent i fod yn gadwedig. Mae Duw wedi rhagordeinio'r moddion yn gystal â'r dyben. Er i Paul, wedi ei hysbysu gan Dduw, addaw i'r rhai oedd yn y llong na chollid einioes yr un o honynt, eto efe a ddywedodd ar ol hyny, pan yr oedd y morwyr ar ffoi allan o'r llong, 'Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig.' Mae'r moddion a'r cymhwysderau i'r nefoedd wedi eu harfaethu gan

Dduw yn gystal a'r nefoedd ei hun. 'Y rhai a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd,' nid yn unig i'r nefoedd, ond 'i fod yr un ffurf â delw ei Fab ef.' Ac ymhellach: 'A'r rhai a ragluniodd efe, y rhai hyny hefyd a alwodd efe; a'r rhai a alwodd efe, y rhai hyny hefyd a gyfiawnhaodd efe; a'r rhai a gyfiawnhaodd efe, y rhai hyny hefyd a ogoneddodd efe.' Mae yr holl gadwen yn berffaith, heb fod yr un ddolen wedi ei gadael allan. Os yw eich iachawdwriaeth wedi ei rhagordeinio, mae eich edifeirwch, eich ffydd, a'ch sancteiddrwydd, a'ch ufudd-dod ewyllysgar i Dduw, wedi eu rhagordeinio hefyd; ac felly y mae eich ymarferiad ewyllysgar a gweddïol â holl foddion y bywyd tragywyddol. Ac y mae yn dwyn i gof un o'ch ymadroddion, 'Os wyf i gael fy nghadw, myfi a gedwir, gwnaf a wnelwyf, yn ol yr athrawiaeth hon.' Mae hyny yn gwbl gyfeiliornus. Mae yr athrawiaeth yn cyfuno moddion a dybenion. Ni chlywsoch chwi neb erioed yn ei phregethu yn ol eich dywediad chwi. Nid wyf fi yn medru codi'r llen sydd yn cuddio tragywyddoldeb, a dangos i chwi eich lle yn myd yr ysbrydion; ond mi a fedraf weled eich dyledswydd yma—y moddion iachawdwriaeth sydd yn gofyn eich holl ymdrechiadau. Ac oddiwrth addewid Duw'r gwirionedd, yr wyf yn gwybod os defnyddiwch chwi'r moddion fel y mae efe yn peri i chwi, y byddwch yn sicr o fywyd tragywyddol. 'Yr hwn sydd yn hau i'r Ysbryd, o'r Ysbryd a fed fywyd tragywyddol,' am mai hyny a ragordeiniodd Duw.

"Y rhagluniaethiad hwn o eiddo Duw yw'r gwirionedd mwyaf dyddanus yn y Bibl. Ac y mae yn chwith fod dynion yn syrthio allan â hynyma. Mae ar bawb eisieu i Dduw *raglunio;* o herwydd y mae ar bawb eisieu iddo *addaw.* Mae pob addewid o'r eiddo ef yn rhaglunaethiad o'r eiddo. Nis gall Duw addaw heb raglunio, ac y mae yr holl addewidion daionus yn bethau ofer os collir rhaglunaethiad."

Ar ol rhai mynydau drachefn o ddystawrwydd meddylgar, efe a ddywedodd wrthyf yn fwy mewn gwêdd o ymholiad difrifol nac fel gwrthddadl, "Paham y mae eisieu gweddïo?"

Attebais, "Paham y mae eisieu anadlu? Dyna foddion at ddyben. Nid yw rhaglunaethiad yn sicrhâu bywyd heb anadl, nac yn sicrhâu bywyd tragywyddol heb weddi."

Ar ol ychydig seibiant eto, gofynodd, "Os yw pechod wedi ei ragordeinio, pa fodd y gellir beïo dynion am bechu?"

"Am eu bod yn *dewis* pechu," atebais, "maent yn pechu o'u bodd. Gwyddant hyny, a'u fod yn feius am bechu. Duw a ragordeiniodd y byddai dynion yn feius os pechent."

Dystawrwydd arall a ddilynodd. Yna efe a ddywedodd wrthyf, "'*Nis gallaf fi ddeall hyn!* Ai nid cywirach yw dywedyd fod Duw yn rhagwybod pob peth na'i fod yn rhagordeinio pob peth?"

"Nage; canys beth yw gwybodaeth? Mae pob gwybodaeth wedi ei seilio ar sicrwydd. Nis gellir *rhagwybod y* bydd i unpeth gymeryd lle oddigerth fod *sicrwydd* y dygwydd hyny. Beth sydd wedi gwneyd y sicrwydd hwnw? Os Duw â'i gwnaeth, yna Duw yn rhagordeinio ydyw. Os *nad* Duw a'i gwnaeth, yna y mae rhywbeth uwchlaw iddo, tynghed neu rywbeth arall; ac nid yw efe yn Dduw a Llywodraethwr yn hwy. Yna nid oes ganddo hawl i *addaw;* nis gall yn yr eithaf ond *rhagddywedyd.* Ac yna ni bydd genym ddim i ddiolch iddo o'r herwydd, mewn amser neu yn nhragywyddoldeb; a dyna bob moliant, a chariad, a gweddi, yn myned yn ynfydrwydd."

Ymhen ychydig fynydau, efe a gododd o'i eisteddle gan fynegu, 'Nid oes genyf ychwaneg i'w ddywedyd. Mae yn dda genyf i mi ddyfod yma. Yr wyf yn deall rhai pethau yn bresennol nad oeddwn yn eu deall o'r blaen. Ond eto mater tywyll ydyw hwn. Mi wn fy mod yn bechadur, ac eto nis gallaf weled fy mod i'm beïo yn wyneb y rhagordeiniad. Chwi a ddywedwch i Dduw ragordeinio fy rhydd weithrediad a'm cyfrifoldeb, a fy mod yn pechu o'm dewisiad fy hun. Yr wyf finnau yn gwybod fy mod yn gweithredu yn rhydd; felly yr wyf yn teimlo. Ond yr wyf mewn penbleth, heb wybod beth i'w wneyd."

"Gwnewch yr hyn y mae Duw yn ei beri i chwi," ebe fi; "ufuddhewch i wahoddiadau ei ras; ffowch at Grist i fod yn gadwedig."

Efe a'm gadawodd. Nis gwelais ef drachefn hyd oddeutu mis ar ol hyny, pryd y galwodd arnaf, ac y dywedodd wrthyf ei fod yn hyderu iddo gael ei arwain i ddewis Crist fel rhan ei enaid. Ni chrybwyllodd am etholedigaeth o gwbl, nes i mi ofyn iddo pa fodd y gallodd ymryddhâu oddiwrth ddyryswch ei feddwl ynghylch hyny. Yr oedd ei ateb yn un nodedig. Ebe efe, "Gadewais hyny allan o fy meddwl yn llwyr. Cefais fod fy nghalon ddrwg a bydol yn troi at athrawiaeth etholedigaeth fel *esgus* dros i mi beidio troi at Dduw. Nid ydoedd ddim ond esgus am fy ysbryd diweddi, a'm cariad at y byd ac at bechod. Ond er pan y mae genyf obaith yn nhrugaredd Duw, mae yn dda genyf fod Duw yn teyrnasu yn ol fel y mae yn ewyllysio. Nid yw etholedigaeth yn fy nyrysu i mwyach. A chredu yr wyf, os bydd dyn wedi ei gymmodi â Duw, y bydd efe yn foddlawn i athrawiaeth rhaglunaethiad."

Efe a wnaeth ar ol hyny broffes gyhoeddus o'i grefydd. Y mae efe yn fyw eto, ac yn nghymundeb y saint. Dywedodd wrthyf fwy nag unwaith, "Mae eich esboniad chwi yn egluro'r cwbl: 'Rhagluniaethiad yw bwriad tragywyddol Duw i lywodraethu ei greadigaeth yn gymhwys fel y mae yn ei llywodraethu.'"

---

## ENOCH MELLOR, D.D.

*Gan y Parch.* W. EVANS, M.A., *Pembroke Dock.*

WRTH adolygu ei fywyd ychydig cyn marw, dywedai y diweddar Deon Stanley am dano ei hun ei fod wedi byw ger bron y genedl. Ac felly yn ddiammheu yr ydoedd. Ac fe edrychid arno fel yn perthyn i'r bobl yn gyffredinol, fel math o eiddo cenedlaethol, yn hytrach nag fel clerigwr yn Eglwys Loegr. Y mae ychydig ddynion o'r fath i'w cael, perthynol i'r gwahanol enwadau crefyddol yn gystal ac mewn cylchoedd eraill, gwleidyddiaeth, gwyddoniaeth, dysgeidiaeth, llenyddiaeth. Gwir mai ychydig ydynt. Ac nid rhyfedd hyny ychwaith. Mae yn gofyn galluoedd a chyfleusderau anghyffredin i godi dyn uwchlaw myrddiynau ei gyd-ddynion ac i sylw cyffredinol. Nid peth bychan, yn wir, ydyw i bregethwr ddyfod yn ddyn yr enwad y perthyna iddo. Y mae lliaws na wyddys nemawr neu ddim am danynt tu allan i gŷrau y Sîr y cartrefant ynddi; a gallwn fyned ymhellach, a dyweyd, fod rhai brodyr yn cyfyngu eu hunain i'r fath raddau fel nad ydynt yn byw ger bron y dref y cyfanneddant ynddi, eithr yn unig yn ngwydd y deadelloedd bychain y maent yn gysylltiedig â hwynt. Weithiau wrth edrych i'r newyddiadur a sylwi ar y symudiadau trefol, elusenol, neu addysgiadol, neu wladol, yr ydym yn edrych yn ofer am enwau rhai. Nid ydym am awgrymu dim yn ddiystyrllyd am neb. Canys y mae hyd yn nôd y cèryg llanw o werth ymhob adeilad, y rhai o anghenrheidrwydd ydynt yn guddiedig. Ond tuag at wneuthur adeilad cadarn a hardd, y mae yn rhaid wrth gonglfeini, y rhai sydd yn amlwg. Felly mewn cymdeithas. Ac un o'r profion goreu o ofal y Pen mawr am ei eglwys ydyw ei fod o bryd i bryd yn codi arweinwyr i gerdded o flaen ei bobl.

Un o'r dosbarth pwysig hwn oedd y diweddar Barch. Enoch Mellor, D.D., Halifax, ac, ar un amser, o Liverpool. Fe allai nad oedd ei enw mor adnabyddus âg eiddo Deon Stanley. Ond yr oedd yn ŵr a berchid yn fawr, nid yn unig ymhlith yr Annibynwyr, eithr hefyd gan yr holl enwadau eraill yn Lloegr a'r Alban; ac yr oedd yn adnabyddus i lawer yn Nghymru. Ac er nad ydym yn hoff o wneuthur cymhariaethau rhwng personau, eto anturiwn ddyweyd hyn—pe gofynid i ni, pwy a adawodd yr argraff oreu a dyfnaf ar yr eglwys gristionogol yn y deyrnas hon, yn enwedig yn Lloegr, ai Stanley ai Mellor, byddem yn rhwym o ateb, Yr olaf. Fel y mae yn wybyddus, ychydig o flynyddau yn ol yr oedd yn ymddangos fel pe buasai rhyw gwmwl yn ymdaenu dros yr hen athrawiaeth iachus, uniongred, yn meddyliau rhai, os nad llawer o'r gweinidogion Ymneillduol yr ochr arall i'r Hafren; ac fe ddywedid yn gryf yn erbyn credöau a chyffesion ffydd. Am beth amser, bygythiodd y dylif gwrthgrediniol hwn symud ymaith yr hen derfynau. Daeth y mater yn destun sylw difrifol ymysg y goreugwyr lleygol; ac o'r diwedd daeth yn anghenrheidiol i'r Undeb Cynnulleidfäol wneuthur dadganiad o blaid yr athrawiaeth uniongred. Y gŵr a ddewiswyd i sefyll yn yr adwy ar yr achlysur pwysig hwnw ydoedd Dr. Mellor, ac efe a'i llanwodd yn gyflawn. Ac oddiar hyny hyd yn awr, ac ni a obeithiwn y pery felly, mae yn eglur fod y ffydd a roddwyd i ni yn cael lle mwy sefydlog yn meddyliau ein brodyr Seisonig. Ni buom erioed yn fwy balch o'n cydwladwr Dr. Thomas Rees, Abertawy, nag am y dadganiad cröew a wnaeth efe ar yr achlysur crybwylledig o ymlyniad penderfynol yr Eglwysi Annibynol Cymreig wrth athrawiaeth iachus. Ni a welwn felly fod Dr. Mellor yn un ag y mae yn werth i ddarllenwyr y DRYSORFA wybod rhywbeth am dano. Ac er fod y cyhoeddiad hwn yn un cyfundebol, nid yw yn perthyn iddo beidio cydnabod yr hyn sydd werthfawr mewn dynion a phethau tu allan i gylch y Cyfundeb, eithr yn hytrach gweithredu ac yr egwyddor, "Pob peth sydd yn eiddoch chwi."

Y mae braslun o hanes ei fywyd wedi ei ysgrifenu gan ei hen gyfaill, y Parch. Henry Robert Reynolds, D.D., o Goleg Cheshunt, yr hwn yntau hefyd sydd un o'r rhai ag ydynt yn eiddo cenedlaethol. Ganwyd Enoch Mellor mewn lle o'r enw Salendine Nook, gerllaw Huddersfield, ar yr 20fed o Dachwedd, 1823. Enw ei dad oedd James Mellor, gwneuthurwr gwlaneni, ac enw morwynig ei fam Ruth Sanderson o Honley. Wedi bod mewn amryw ysgolion, yn y rhai yr hynododd ei hun am ei ddiwydrwydd a'i dalentau, yn 1841, pan yn ddeunaw mlwydd oed, aeth i Brifysgol Edinburgh, lle y graddiodd yn anrhydeddus yn 1845; ac ymhen pum' mlynedd ar hugain, yn 1870, gwnaeth y Brifysgol hono, ar gyfrif ei enwogrwydd fel pregethwr,

a'i ysgrifeniadau gallnog, roddi iddo y gradd o Ddoethawr mewn Duwinyddiaeth. Tra yn Edinburgh, ymunodd â'r eglwys Annibynol dan ofal Dr. Lindsay Alexander, a dyma yr adeg hefyd y penderfynodd ymroddi i waith y weinidogaeth. Ar ol gorphen yn y Brifysgol, dychwelodd adref; ac yn 1846 aeth i'r Coleg Annibynol yn Lancashire, y pryd hwnw dan lywyddiaeth Dr. Robert Vaughan, lle yr arosodd ddwy flynedd. Ac yn 1848 gwahoddwyd ef i gymeryd gofal y Square Church yn Halifax. Yr oedd yr eglwys hon wedi adfeilio, a'r gynnulleidfa wedi myned yn gymhariaethol fechan; ond ni fu y gweinidog newydd yn hir cyn llanw yr hen adeilad eang, a daeth yn anghenrheidiol helaethu lle y babell. Y canlyniad a fu codi capel newydd, yr hwn, mae yn debyg, yw un o'r rhai harddaf a'r mwyaf yn Swydd Gaerefrog. Cymerodd Mr. Mellor y lle blaenaf fel pregethwr, ac yr oedd y galwadau am ei wasanaeth yn aml. Yr oedd ar yr un pryd yn ymwelwr cyson a ffyddlawn â theuluoedd ei gynnulleidfa, a chymerai ddyddordeb yn ei wrandäwyr yn unigol. "Fel bugail cyflawnodd beth anferth o ymweliadau teuluol. Yr oedd ei ddyddordeb personol ymhob aelod o'i braidd, ei wybodaeth o'r meddyliau oedd yn eu blino hwynt, o'r ofnau oedd yn eu dilyn, ac o'r llawenydd oedd yn eu sirioli, yn gwneuthur ei bregethau yn anarferol o gymhwysiadol, ac yn ennill iddo fesur anghyffredin o ddylanwad personol." Od oes eisieu adnod i brofi y posiblrwydd o gyfuno y pregethwr mawr a'r bugail llwyddiannus, dyna hi.

Yn 1861, ar ol gwrthod amryw o alwadau blaenorol, ac yn eu plith un neu fwy i Lundain, derbyniodd y gwahoddiad i fod yn olynydd i Dr. Raffles yn Liverpool. Yr oedd hwn yn lle anhawdd iddo. Gorchwyl o gyfrifoldeb mawr ydoedd dilyn y fath un â Dr. Raffles. Heblaw hyny, nid oedd yr achos yn Great George Street y peth a fuasai gynt; llawer wedi symud i amgylchoedd y ddinas, fel nad oedd yn gyfleus iddynt, pe dewisasent, fynychu eu hen gapel. Ond yma eto, fel yn Halifax, bu Dr. Mellor yn offeryn i gyflawni y gwaith o adfywiad. Yn 1863 pan nad oedd ond deugain oed, dewiswyd ef yn llywydd Undeb Cynnulleidfaol Lloegr a Chymru; ac afreidiol yw dyweyd iddo lanw y gadair yn deilwng o hono ei hun ac o'r swydd. Eithr ni fu ei arosiad yn Liverpool yn hir—dim ond rhyw bump neu chwe' blynedd, os ydym yn cofio yn iawn. Nid yw yr adroddiad o'n blaen yn ein hysbysu. Er fod attyniadau ei faes llafur newydd yn gryfion, eto aeth yr adgof am ei hen gartref, a'i ddyhead am ei hen gyfeillion, yn gryfach; a dychwelodd i'r awyrgylch iach a chynhyrfiadol ydoedd mor gydnaws â'i archwaeth, ac mor gynnorthwyol i'w holl natur, a derbyniwyd ef gyda breichiau a chalonau agored. Ac felly Halifax a gafodd nid yn unig flaenffrwyth ei nerth a'i lafur, eithr hefyd ffrwyth addfed ei flynyddoedd olaf. Ac nid oedd wedi pasio tymmor canol oed pan y galwyd ef adref oddiwrth ei lafur at ei wobr. Bu farw ar y 26ain o Hydref y flwyddyn ddiweddaf.

Yr oedd Dr. Mellor yn meddu ar alluoedd naturiol cryfion. Cafodd addysg dda yn more ei oes. Gweithiodd yn galed drwy ei fywyd. Ymroddodd â'i holl galon i waith y weinidogaeth, ac i lanw ei le ymhob modd fel dinesydd cristionogol. Yr oedd ei gariad at Grist yn fawr, a'i grediniaeth yn y gwirionedd, fel y mae yn yr Iesu, yn gadarn a diysgog. Gosodai ei law yn drwm ar anffyddiaeth; ac yr oedd ei ergyd yn gryf yn erbyn gwrthddadleuon i Gristionogaeth a bywyd o dduwioldeb. Yr oedd ganddo lygad nerthol i weled geudeb a gwendid seiliau ac adeiladaeth holl gestyll annuwioldeb; ac yr oedd yn eu bwrw i lawr megys â llaw gref. Yr oedd yn siaradwr hyawdl, yn ymadroddwr cadarn, ac yn feddyliwr grymus. Fel y dywedai Mr. Anthony, y pryd hwnw o Tenby, yn angladd y diweddar Barch. Eliacim Shadrach, "Yr oedd efe yn bregethwr;" felly dywedwn ninnau am Dr. Mellor o Halifax,—Yr oedd efe yn bregethwr, ac yn bregethwr mawr.

Y mae yn hyfryd genym gael y cyfleusdra hwn i ddwyn i sylw darllenwyr y DRYSORFA y gyfrol o'i bregethau sydd newydd ei dwyn allan o'r wasg dan olygiaeth Dr. Reynolds, cyhoeddedig gan Hodder a Stoughton, am y pris rhesymol o saith swllt a chwech cheiniog. Yr ydym wedi darllen y pregethau hyn gyda'r pleser mwyaf, ac ni a hyderwn i fuddioldeb mawr. Teitl y gyfrol yw *The Hem of His Garment*—Ymyl ei Wisg Ef. Ac fe roddwyd yr enw yma ar y gyfrol oblegid mai hwn ydyw testun y bregeth gyntaf yn y gyfrol. A phan ystyriwn yr ystyr ëang a roddir gan awdwr y pregethau i'r ymadrodd "ei wisg ef," y mae y teitl yn hollol briodol i'r holl gyfrol.

"Oblegid y mae *Crist* yn y byd heddyw, ac mewn llawer gwlad—yn yr eiddom ni yn gymaint ag mewn un—mae y tyrfäoedd yn ei wasgu ef. Mae yn anmhosibl, yn wir, i ni, ac ymron yn anmhosibl i neb Sais, ddianc cyffyrddiad âg Ef. Gall hyd yn nôd ddymuno dianc hyny, ond nis gall. Eled lle yr elo, fe gaiff gwrdd â Christ ar y ffordd; ac os na wêl efe Ef, fe wêl o leiaf ymyl ei wisg —yr ymyl â'i cyffwrdd ef, pa un bynag a wna efe gyffwrdd â hi ai peidio. Nis gall esbonio ystyr y flwyddyn heb iddo deimlo

fod Crist yn agos—blwyddyn ein Harglwydd yw. Nis gall deithio trwy wythnos o amser heb gwrdd â Christ; oblegid fe wna un diwrnod ei adgofio mai dydd yr Arglwydd yw. Mae hyd yn nôd y gwyliau yn dyweyd wrtho ei fod yn ddyledus i Grist am danynt. Mae Nadolig yn llefaru am ei enedigaeth, Gwener Croglith am ei farwolaeth, y Pasg am ei adgyfodiad, y Sulgwyn am gyflawniad ei addewid yn nisgyniad yr Ysbryd Glân. Nis gall gadw ei lygad yn agored, ac edrych ar adeiladau ein dinasoedd a'n pentrefi, heb weled yn y tyrau ysgwâr a phigfain a ffurfiau awgrymiadol eraill o adeiladwaith, fod Crist yn y byd; oblegid os nad Crist yw y pethau hyn, ymyl ei wisg Ef ydynt. Cyfyng iawn y rhaid fod ei gydnabyddiaeth â llenyddiaeth; pa un bynag ai mewn rhyddiaeth ai barddoniaeth, a thlawd yn gystal a chyfyng, os gall ddarllen llawer heb weled rhywun yn croesi ei lwybr âg y mae ei ddull yn debyg i'r eiddo Mab y dyn. Ac os yw ei serchiadau wedi eu tynu at gerddoriaeth, a'i fod yn ymhoffi yn yr acenion sydd yn swyno, a'r cydgordiadau sydd yn rhoddi mwyniant i'r enaid, rhaid ei fod yn gwybod y bydd iddo golli y cyfoethocaf a'r mwyaf arddunol o'r oll os gwna gau ei glustiau i ganiadau Handel sydd yn gosod allan mewn galar a buddugoliaeth ddyoddefiadau a gogoniant Mab Duw. Ha, fy nghyfeillion, nis gellwch, nis gellwch ddianc rhag ymyl ei wisg Ef. Mae mor fawr, mor llydan, mae yn troi o'ch amgylch chwi. Yr oedd yn cyffwrdd â chwi yn eich cryd, pan yr oedd y gân â'r hon yr oeddych yn cael eich suo i gysgu yn cael ei llanw âg arogldarth ei enw Ef. Yr oedd yn cyffwrdd â chwi yn yr ysgol yn mlagur eich ieuenctyd. Cyffyrddodd â chwi ar ddydd eich priodas, pan y clywsoch am y wledd yn Cana Galilea, lle yr oedd Crist yn bresennol, gan ei gwneuthur yn fwy llewyrchus â'i wenau ac yn fwy sanctaidd trwy ei fendith. Yr oedd yn cyffwrdd â chwi pan yn nghanol dagrau galar annhraethadwy, a than gysgod cwmwl a ymddangosai fel yn llanw daear a nefoedd, yr oeddych yn gosod yn y bedd un anwylach na bywyd, ac yr oeddych yn gwrandaw y geiriau, 'Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw a fydd byw; a'r hwn sydd yn credu ynof fi ni bydd marw yn dragywydd.' O yr ymyl hwn o wisg ein Iachawdwr! Nis gallwch osgoi y cyffyrddiad. Gall na wnewch gyffwrdd â'r wisg â bys eich ffydd, ond os na, rhaid i chwi, ïe, rhaid i chwi ei sathru dan draed eich dirmyg."

Mae yr engraifft hon yn ddigon, feddyliwn, i ddangos y lle mawr y mae awdwr y pregethau hyn yn ei roddi i Grist. Ac nis gall dim fod yn fwy diamwys a sicr na'r modd y mae yn cyhoeddi yr efengyl fel unig foddion iachawdwriaeth dyn. Mae yn llefaru megys un âg awdurdod ganddo ar y mater hwn, nid yn unig oddiar ei grediniaeth gref a dofn yn y Bibl, ond hefyd ei wybodaeth helaeth a manwl o hanes y byd, a'i adnabyddiaeth gywir o ansawdd feddyliol a moesol plant dynion. Yn y pregethau ar y gâreg ni thorwyd allan trwy waith dwylaw, ac ar ddammeg y surdoes, mae yn dangos mewn modd gogoneddus fod ein hiachawdwriaeth ni yn beth sydd, nid wedi ymgodi o honom ni ein hunain, ond wedi dyfod oddiuchod. Ac yn y bregeth ar y pydewau toredig, y mae gyda'r hyawdledd, y difrifwch, a'r eglurder mwyaf yn dangos oferedd holl-ol ymdrechion plant dynion i foddhâu a dyrchafu eu hunain trwy bleserau, cyfoeth, gwrtaith meddyliol, a hunan-gyfiawnder. Ac nis gall dim fod yn fwy effeithiol na'r dull grymus y mae yn ymliw â'i wrandawyr oblegid yr amrywiol ffyrdd y maent yn diffodd yr Ysbryd Glân. Prydferth a thyner, a thoddedig dros ben, ydynt ei gymhellion i'r rhai nad ydynt gymunwyr i ddyfod i lanw y lleoedd gweigion sydd wrth fwrdd yr Arglwydd, ac yn enwedig i blant dynion duwiol y rhai ydynt wedi eu symud trwy angeu.

Nis gellir dyweyd am y pregethau hyn eu bod yn bregethau athrawiaethol. Buasai yn dda genym pe buasai yma un neu ddwy o bregethau felly. Mae yn ddiammheu genym fod pregethau o'r dosbarth hwnw ymysg ei lawysgrifau. Ond os mai pregethau ymarferol yn hytrach yw y rhai hyn, mae mêr yr athrawiaeth iachus, ac yn arbenig ei chanolbwnc mawr—yr Iawn—i'w gael ynddynt. Ac o ran hyny, dyma sydd yn eu gwneyd mor ymarferol, mor llawn o gymhellion i gredu yn Nghrist, ac i fyw bywyd o dduwioldeb a rhinwedd. Mae yn eglur fod parotoi pregeth yn hoff waith gan Dr. Mellor. Mae yn amlwg ei fod yn frwdfrydig gyda'r gorchwyl cysegredig. A phwy bynag a gafodd y fraint o'i wrandaw yn pregethu, mae yn sicr o gyduno â ni pan y dywedwn ei fod yn ei le yn y pulpud. Gwnaeth natur lawer drosto trwy roddi iddo bresennoldeb hardd a llais hyfryd. Gwnaeth yntau lawer drosto ei hun trwy ddyfalbarhâd dros ei oes mewn darllen a myfyrio ac ysgrifenu. A gwnaeth gras fwy na'r cwbl trwy ei fedyddio yn helaeth âg ysbryd y weinidogaeth. Dywed Dr. Reynolds fod y New Square Church yn gofgolofn i'w ymroddiad a'i lafur. Dyma gofgolofn arall, ac un well ac o ddefnyddioldeb helaethach, yn y gyfrol hon o'i bregethau yr ydym yn galw sylw ati. A phwy bynag a'i darlleno, mae yn rhyfedd genym os na chaiff ei gynhyrfu yn sanctaidd, a phrofi yn rymus y rhinwedd sydd yn dyfod oddiwrth yr Hwn yw testun mawr pob gwir bregethu, trwy gyffwrdd âg "ymyl ei wisg ef."

---

LLYTHYRAU ODDIWRTH Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM ROBERTS, AMLWCH.

*At y Brodyr yn Nghyfarfod Misol Llandegfan.*

**Tai bach (Morganwg),**
**Awst 15, 1854.**

ANWYL FRODYR,

Dyma lle yr wyf, a thrwy drugaredd yn weddol iach, ac heb gael eto dori fy esgyrn dan faich y "parch" mawr, ac heb gyfarfod â hanner cymaint ag a haeddais o ddiystyrwch. Ond y gwaethaf yw fod arnaf ofn nas gall fy nyfodiad fod yn ddim. dim, er cyfateb i'r draul o ddyfod mor bell. Ar y cyfan, cafwyd Cymanfa gysurus yn Aberafan; ond yr Arglwydd a ŵyr pa un a fydd ei chanlyniadau yn gysurus. Nid oes genym ond gobeithio y goreu. Gwell a fuasai genyf fod gyda chwi ar ymylau Môn nag y gellwch chwi goelio; ond os byw, mewn cyfarfod pregethu yn Abertawe y byddaf.

Byddaf ddiolchgar i'r brawd a ddechry'r *society*, ac i'r brodyr oll, am fy nghofio mewn gweddi. Os ä gweddi i'r nef o Landegfan, gallai, hwyrach, yr atebiad gyrhaedd Abertawe cyn y gadäwyf hi. Mae yr *electric telegraph* rhwng nef a daear yn hen, ac wedi cyrhaedd bol morfil cyn hyn.

Mewn perthynas i'ch amcan o wneyd sylw ar drefn pregethu yn Sir Fôn, cofiwch na theimlaf y briw lleiaf oddiwrth eich penderfyniad. Gwnewch a weloch yn oreu. Yr unig beth yn fy ngolwg yw, nad yw y Cyfarfod Misol yn actio y gofal dyledus am yr *holl* eglwysi. Canys tra y dywedo un, Ni bu hwn a hwn yma er ys blynyddau, a'r llall, Nid wyf yn bwriadu gofyn i'r un arall, gall, yn ol fy nhyb gwael i, fod rhyw ffordd i wellhâu. Er fy mod i fy hun yn bur anghymhwys i deithiau pell ar amser trwm o'r flwyddyn, nid fy amcan yw siarad am bethau personol. Dyma yn unig yw neges fy llythyr hwn: dywedyd nad rhaid i chwi un mynyd o bryder pa beth yw fy opiniwn ar y pwnc; o herwydd mi a gyd-ddygaf â'r hyn a farnoch yn oreu heb un gwrthwynebiad, ond cael hyny o gydymdeimlad ag y mae henaint a gradd o lesgedd yn ei ofyn.

Bydded wyneb yr Arglwydd arnoch. Tebygol yw mai at Ffynnonau Llanwrtyd, os yr Arglwydd a'i myn, y tröaf fy wyneb o Gaerdydd ddydd Mawrth nesaf; ond deallwch fod brodyr Liverpool yn fy nysgwyl yno y ddau sabbath olaf o'r mis; ac ni chefais gyfle i ofyn eich cydsyniad. Os amgen, hysbyswch, ac mi a ddychwelaf adref yn lle myned yno.

Yr wyf yn ddiledrith yn cofio atoch *oll*, OLL.

Yr eiddoch yn ddiffuant,
er yn ddistadl,
W. ROBERTS, *Amlwch.*

*At y diweddar Barch.* WILLIAM MORRIS, *Tŷddewi.*

**Amlwch, Mai, 1858.**

ANWYL GYFAILL,

Bwriedais fwy nag unwaith, pan yn clywed fod eich iechyd i raddau yn anmharus, anfon llinell o gyfarchiad atoch, gan eich bod chwi fel finnau erbyn hyn wedi cyrhaedd ystâd yr hen bobl, a thrwy hyny wedi cyrhaedd hefyd amgylchiad nad ydym i ddysgwyl yr un pryder yn ein cylch ag mewn amser a fu, pan yn dyfod i fyny i'r byd gyda'n cydoeswyr sydd erbyn hyn wedi cilio o'r golwg, a'n gadael ninnau *just* i ysgubo yr aelwyd cyn eu dilyn i'r gwely pridd. Wele, pan yr ydym yn gwywo, ac "allan o olwg" ac "allan o feddwl," bydded i ni bob dydd fod fwyfwy yn y cymeriad hwnw, "Y rhai nid oedd y byd yn deilwng o honynt."

Drwg genyf glywed fod eich nerth i raddau yn pallu; ond bellach nid yw hyny i'w ryfeddu; canys fe barhaodd yn hir i oddef llafur caled. Ond pe caem nerth fel Paul, pan y gwelem fwlch yn cael ei agor mewn llygru y dyn oddiallan, i daflu y ffagoden hono i'w lanw, 'Ein byr ysgafn gystudd ni sydd yn odidog ragorol yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant i ni,"—byddai pobpeth yn *right;* o herwydd nid peth i siarad am dano yn unig yw gogoniant i'r saint, ond peth i'w obeithio a'i fwynhâu, yr hwn obaith, mi a hyderaf, sydd yn mynu ei ffordd i ymgymysgu â'ch holl drallodau, nes troi eich cysgod angeu yn fore ddydd.

Dyma ni: er i ni weled ein holl gydlafurwyr yn ein gadael, nes y gallwn ddyweyd, "Minnau a adäwyd fy hunan," eto nid yw yn orfod arnom ddywedyd, "Ceisio y maent fy einioes innau." Pa fodd bynag mae yn dda genyf glywed am danoch, fod eich holl frodyr yn *gweled* eich colli o'u plith, ac yn gweddïo am eich adferiad, pa un ai am bymtheng mlynedd neu lai bellach, nis gwn. Ond er fy mod yn siarad tôn lled ddigalon wrth ddyweyd fel hyn, eto gobeithiaf, erbyn y dêl hyn o bapyryn i'ch llaw, y byddwch yn ddigon cryf i ddyweyd, "Trwy gymhorth fy Meistr, mi fynaf groesi afon Menai unwaith eto cyn croesi yr Iorddonen." Amen, meddaf finnau.

Fy anwyl frawd, ufuddhewch i'r gorchymyn hwnw, "Byddwch lawen yn wastad-

ol." Os yw eich Tad nefol yn gorchymyn hyny, pwy a faidd warafun i chwi y fath fwyniant? Gan i'r Arglwydd Iesu foddloni i fyw heb dangnefedd ei hun, cofied hyny, a rhoed hi yn helaeth i chwi.

Gan gofio at Mrs Morris, ac at Mr. a Mrs. Williams, a'i fam ef, a'i theulu oll,

Ydwyf, hybarch gyfaill,

Yr eiddoch yn gywir,

W. ROBERTS.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD IV.

*Evan Jones, Hwsmon Gwernyffynnon.*

WRTH i mi daflu fy meddwl yn ol ddeugain mlynedd, sef at yr adeg pan oeddwn blentyn, mor rhyfedd genyf feddwl mai yr un un ydwyf o hyd er yr holl gyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle yn fy syniadau a'm tueddiadau. Wrth gymharu y plentyn â'r dyn, mor wahanol ac eto mor debyg ydynt! Ni fynwn am y byd wadu fy hunaniaeth, na newid fy ymwybyddiaeth am ymwybyddiaeth neb arall. Bum lawer gwaith yn tosturio wrth yr afon Alun yn y pwynt lle y mae yn colli ei hunan yn y Dyfrdwy. O Lanarmon yn Iâl i lawr i Gilcain, a thrwy y Belan ar hyd dyffryn yr Wyddgrug, mor annibynol, hoew, a siriol y mae hi yn edrych! Ond pan yr agoshâ hi at Holt, y mae ei hwyneb yn newid, a phrudd-der yn amlwg i'w weled ar ei gwêdd, yn y rhagolwg, yn ddiammheu, ar golli ei hunan yn y Dyfrdwy. Nis gwn pa fodd y mae dynion eraill yn teimlo; ond y mae yn dda genyf fi feddwl mai yr un un ydwyf o hyd, ac ni fynwn er dim golli fy hunaniaeth. Onid hyn yw gwallgofrwydd? "Colli arno ei hun" ydyw yr ymadrodd, onidê, a ddefnyddir am un yn gwallgofi? Wel, y mae yn hyfryd genyf daflu fy meddwl yn ol, a dilyn cwrs fy mywyd trwy wahanol gyfnodau, amgylchiadau, a golygfeydd hyd yr awr hon, a chofio mai yr un un ydwyf. Ac y mae yn fwy hyfryd genyf feddwl, pan fyddaf nas gwn pa mor fuan yn rhoddi llam i'r byd mawr tragywyddol, mai yr un un a fyddaf, ac na fydd i mi golli fy hun yn neb arall yr un fath â'r Alun druan! Mor rhyfedd! ymhen miloedd o oesau, yr un ymwybyddiaeth a fydd genyf â phan oeddwn yn myned yn llaw fy mam i'r capel am y tro cyntaf!

Ond i ddychwelyd at gyfnod fy mhlentyndod, ac i mi ddyweyd y gwir—yr hyn yr wyf yn benderfynol o wneyd—rhaid i mi addef nad oeddwn yn hoffi myned i'r capel. Yr oedd y gwasanaeth yn rhy faith o lawer genyf. Nid bob amser y gallwn gysgu yn y moddion. Pan fyddwn yn effro, nid oeddwn yn cael difyrwch mewn dim oll oddigerth yn y canu. Tra y llefarai y pregethwr yn ddiddarfod, fel y tybiwn i, byddai gwaew annyoddefol yn fy nghoesau, a chymaint ag a allai fy mam ei wneyd oedd fy nghadw yn ddiddig. Yr oedd fy mam yn Fethodist o'r Methodistiaid, ac yn glynu yn glòs wrth syniadau a thraddodiadau y tadau. Bendith arni! un o'i phynciau mwyaf cysegredig ydoedd cadwraeth y Sabboth. Nid gwiw oedd i mi sôn am chware, nac edrych ar fy nheganau, ar ddydd yr Arglwydd. Byddai raid i mi eistedd yn llonydd a difrifol, pryd nad oedd genyf y syniad lleiaf am y gwahaniaeth rhwng y naill ddiwrnod a'r llall. Os byddwn yn aflonydd a chwareugar, dywedai fy mam fod Iesu Grist yn ddig wrthyf, ac na chawn byth fyned i'r nefoedd, ond y byddai iddo ef fy nhaflu i'r "tân poeth." Parai hyn dristwch mawr i mi. Ar yr un pryd, methwn a deall os oedd Iesu Grist mor hoff o blant bychain ag y dywedai fy mam ei fod, pa fodd yr oedd efe mor *exact* ac mor wrthwynebol i mi gael chware ar y Sul. Yr oedd yn gâs genyf weled y Sabboth yn agosâu, gan y gwyddwn y byddai i mi yn sicr ddigio Iesu Grist. Un tro gofynais i fy mam pa fath le oedd y nefoedd? Atebodd hithau, gan geisio yn ddiammheu gyfarfod â fy nealltwriaeth, mai gwlad ydoedd lle yr oedd pawb o'r trigolion yn cadw'r Sabboth am byth. Syrthiodd fy ngwep y foment hono, a dywedais wrthi yn bendant nad awn byth i'r nefoedd. Y fath ergyd a roddais iddi! Gwelaf ei hwyneb hoff yn pruddhâu, a'r dagrau yn ei llygaid. Rhoddais innau fy mraich am ei gwddf, a dywedais wrthi yr awn i'r nefoedd er ei mwyn hi (fy mam), ond fy mod yn gobeithio y cawn yno gan Iesu Grist chware tipyn bach.

Druan oedd fy mam! Gyda'r amcanion goreu yn y byd, yr oedd yn myned o gwmpas fy addysgiaeth grefyddol yn y ffordd fwyaf chwithig a allasai ei dychymygu. Wel, fy hoff fam, yr oeddit yn annysgedig ac anwybodus, ond er hyny y fam oreu yn y byd yn fy meddwl i. Diammheu genyf fod dy weddïau ar fy rhan wedi eu hateb i ryw fesur. Yr wyf yn awr mewn oedran gŵr; ond pa beth a roddwn am gael unwaith eto weled dy wedd! Pa beth na roddwn am un cyfleusdra i geisio gwneyd i fyny am bob gair câs a ddywedais wrthyt, ac am bob ymddygiad angharedig tuag atat! Tybed a wyddost di am fy helyntion a'm profedigaethau wedi i mi dy hebrwng i'r fynwent

oer? Mor rhyfedd genyf feddwl erbyn hyn na ddarfu i fy holl anufudd-dod a'm holl ddrygioni leihâu un gronyn ar dy gariad tuag ataf! Cyfarfyddais â llawer cyfaill ffyddlawn, ond neb a'm carai fel tydi—a'm carai yn fwy na'i heinioes ei hun. Mae y byd yn oer a dyeithr i mi hebot ti. Nid oes genyf neb yn fy neall, na neb yn gallu myned i mewn i'm teimladau, fel y byddit ti yn gwneyd. Cyn i mi ysgrifenu brawddeg arall, rhoddaf dro at dy "gareg arw â'r ddwy lythyren," gan nad beth a feddylio eraill o honof.

Mae fy adgofion ynglŷn â'r Ysgol Sabbothol yn gymysglyd ac anmhenodol. Yr wyf yn sicr o hyn—mai nid yn yr Ysgol Sul y dysgais y llythyrenau. Nid wyf yn cofio i mi erioed fod yn dysgu yr A B C; naill ai yr oeddwn yn eu hadnabod wrth natur, neu ynte, yr hyn sydd yn fwy tebyg, yr oedd fy mam wedi eu dysgu i mi yn y cyfnod nad oes genyf un cof am dano. Yr wyf yn sicr mai Evan Jones, hwsmon Gwernyffynnon, oedd fy athraw cyntaf; ac yr wyf yr un mor sicr mai allan o lyfr bychan, tebyg i'r "Rhan Gyntaf" a ddefnyddir yn ein hysgolion yn y dyddiau hyn, yr oeddwn yn cael gwersi ganddo. Yr hyn sydd yn peri i mi fod mor sicr ydyw hyn: mai a b, ab, y galwn i Evan Jones wrth fy mam, am mai hono oedd y wers—a b, ab, e b, eb, o b, ob, &c. Hen ŵr clên oedd Evan Jones, yn gwisgo ar y Sabbath gôb las â botymau gloewon arni, a chlôs a *leggins* llwydion. Yr oedd chwech neu saith o honom yn ei ddosbarth; a dull Evan o gyfranu addysg oedd cymeryd un o honom ar ei lîn a rhoi gwers iddo tra y byddai y lleill yn chwareu. Wedi iddo roddi gwers i bob un, teimlai Evan ei fod wedi gwneyd ei ddyledswydd, ac yna cymerai gyntyn. Tra y byddai Evan yn cymeryd *nap*, a'i ên wedi suddo yn ddwfn i'w wasgod, a choler fawr ei gôb las ymron yn lefel hefo'i goryn, nid unwaith na dengwaith y cyfrifais yr holl fotymau oedd ar ei ddillad. Yr wyf yn cofio y fynyd hon eu nifer. Pe cymerwn fy llw ar rywbeth, cymerwn ef ar hyn, mai saith o fotymau oedd ar bob leggen, pump ar ddau benglîn ei glôs, pedwar ar bob ochr i'w gôb a dau tu ol, a saith ar ei wasgod. Yr wyf yn sicr o'u nifer, canys cyfrifais hwynt gannoedd o weithiau tra yr oedd Evan yn cysgu. Perchenogai Evan oriawr fawr—mor fawr ymron â'r hyn a elwir yn ein dyddiau ni yn *timepiece*, yr hon a gadwai efe yn mhoced ei glôs. Un tro gofynais i fy mam paham na wisgai Evan Jones ei *watch* yn mhoced ei wasgod fel y byddai gŵr y Plâs yn gwneyd? Atebai hithau, ei fod yn bechod mawr gwisgo *watch* yn mhoced y wasgod, ac nad oedd neb yn gwneyd hyny ond y rhai oedd heb "deimlo'r cortyn." Nid oeddwn yn deall ar y pryd beth oedd ystyr "teimlo'r cortyn;" ond gwyddwn ei fod yn rhywbeth mawr ac anhebgorol er gwneyd i fyny ddyn da; ac mor hoff oeddwn i o Evan Jones fel nad allaf yn awr ddesgrifio fy moddhâd y pryd hwnw mai yn mhoced ei glôs y gwisgai efe ei *watch* ac nid yn y wasgod. Yn gysylltiedig wrth *watch* Evan yr oedd riban ddu, ac wrth hono ddwy gragen wèn, hen goin, a sêl goch.

Teimlem ni, y bechgyn oedd yn ei ddosbarth, awydd mawr am gael *watch* Evan i'n dwylaw. Un prydnawn Sul gwresog, yr oedd Evan wedi gwneyd ei ddyledswydd, ac wedi syrthio i gwsg trwm. Y modd y gwyddem hyn oedd ei fod yn chwyrnu yn uchel,—yr hwn arwydd na chlywsem erioed o'r blaen yn y dosbarth. Wele, y cyfleusdra hirddysgwyliedig wedi dyfod; a chynnygiodd Wil Bryan, yr hwn oedd yr hynaf yn y dosbarth, ei wasanaeth, ac ni ddangoswyd gwrthwynebiad gan neb. Tynwyd y *watch* allan, a chafodd pob un o honom yn ei dro ei benthyg i'w harchwilio, ac i'w gosod wrth ei glust. Yr oedd safle ein dosbarth yn llofft y capel yn y gongl uchaf a elwid y pryd hyny yn "*Gibraltar*," ac felly mewn sefyllfa neillduedig. Yr oedd *watch* Evan wedi treiglo ddwywaith o gwmpas y dosbarth, ac ar y pryd yn fy llaw i. Yr oeddym yn yr act o osod ein penau ynghyd pa fodd i'w dychwelyd i'w sefyllfa wreiddiol heb ddeffroi ei pherchenog, pryd y taranodd llais uwch ein penau, "Be 'dach chi'n neyd yma?" Yn fy mraw, gollyngais y *watch* i lawr, nes oedd y gwydr yn deilchion, ac ar yr un pryd neidiodd ein hathraw parchus fel pe buasai rhywun wedi ei drywanu yn ei feingefn. Y taranwr ydoedd Abel Hughes yr arolygwr, yr hwn, yn ei gap *velvet*, a edrychai yn ddig dros ymyl y sêt. Yr oedd ein hathraw wedi cynhyrfu yn gymaint fel na ddarfu iddo sylwi dim ar ei oriawr. "Ai cysgu yr ydach chi, Evan Jones?" gofynai Abel yn geryddgar. "Synfyfyrio," ebe Evan yn ffwdanus. "Synfyfyrio yn wir, â'ch dosbarth yn chware hefo'ch *watch*. Rhaid i mi ddwyn eich hachos o flaen y cyfarfod athrawon," ebe Abel, ac aeth ymaith yn ddigofus.

Yr un fynyd ag yr oedd Evan yn dechre sylweddoli sefyllfa pethau, dechreuais innau wylo—gwaith a fedrwn yn burion. Nid oedd neb wedi cyffwrdd â'r oriawr ar ol iddi syrthio o fy llaw. Edrychodd Evan arni, ac arnaf finnau bob yn ail am yspaid, ac yna cododd hi, gan ei lapio yn ei gadach poced a'i rhoddi yn mhoced frest ei gob las. Wrth weled fy nhristwch mawr, er ei fod yn credu, mi wn, mai fi oedd euog o'r holl ddrwg, cymerodd fi ar ei lîn, a dywedodd wrthyf yn garedig, "Wel, na

hidia, y 'ngwas i; dydi o fawr o beth." Bum yn meddwl ar ol hyn mai rhyw fath o *fellow feeling* o euogrwydd a wnaeth i Evan fod mor garedig ataf. Pa fodd bynag, parodd ei garedigrwydd i mi wylo yn waeth o lawer; ac erbyn i mi fyned adref yr oedd fy llygaid wedi chwyddo yn gymaint fel nad allwn gelu yr ystori oddiwrth fy mam. Yr unig beth a ddywedodd hi wrthyf oedd, "Wel, cawn weled fory." Bu yn un â'i gair; cafodd hi *weled*, a chefais innau *deimlo.*

Nis gwn i sicrwydd a ddygwyd achos Evan Jones, Gwernyffynnon, o flaen y cyfarfod athrawon; ond y mae genyf bob lle i gredu ddarfod i hyny gymeryd lle; oblegid byth wedi hyn pan fyddai Evan yn gosod ei hun i gymeryd cyntyn, rhoddai siars benodol arnom i fod ar y *look-out*, ac i ofalu am ei ddeffroi pan ddeuai Abel Hughes i'r cyffiniau,—i'r hyn y buom ffyddlawn. Yr wyf yn cofio yn dda ein bod fel dosbarth yn edrych ar waith Abel Hughes yn gwarafun i Evan gael cyntyn, ar ol iddo roddi gwers i bob un, fel gorthrwm a thrahausder anfaddeuol.

Pe buaswn yn argraffu yr hanes hwn, dichon y dywedasai rhywun, "Gymaint rhagorach ydyw trefniadau ac athrawon yr Ysgol Sabbothol yr oes o'u cymharu â'r hyn oeddynt ddeugain mlynedd yn ol!" Hwyrach hyny. Nid oedd Evan Jones ond un o lawer cyffelyb iddo. A chymeryd ei rinweddau ynghyd a'i ddiffygion i'r cyfrif, yr oedd Evan cystal athraw â'r rhelyw o honynt y dyddiau hyny. Mae genyf fi barch dauddyblyg iddo, o herwydd o dan ei aden ef y dysgais ddarllen, er iddo farw pan oeddwn yn lled ieuanc. Mae genyf gof da am amryw o ddywediadau fy mam pan fyddai hi yn son am Evan Jones, megys y rhai canlynol:—"Gwr ydyw Evan â gwreiddyn y mater ganddo." "Mae Evan Gwernyffynnon yn fwy ar ei liniau nag ar ei sefyll." "Gŵyr Evan yn dda beth ydyw teimlo'r cortyn." "Dyn y dirgel ydyw Evan Jones." "Pe buasai gan Evan gymaint o ddysg ac arian ag sydd ganddo o ras, buasai yn Ustus Heddwch er ys llawer dydd, ac ni buasai gŵr y Plâs ond cardotyn yn ei ymyl." Yr oedd yr ymadroddion hyn, a llawer o rai cyffelyb o'r eiddo fy mam, fel Lladin i mi ar y pryd, ac ymhen blynyddau y daethum i'w deall. Da genyf droi fy meddwl yn ol at yr adeg pan oeddwn yn astudio *classics* fy mam! Fel yr awgrymais yn barod, y mae genyf bob lle i gredu fod Evan Jones, er ei holl ddiffygion, yn gymeriad tryloew, ac yn un oedd wedi profi pethau mawrion crefydd. Pan oeddwn yn ei ddosbarth, edrychwn ar ei waith yn cysgu ran o'r moddion yn fwy fel rhinwedd ynddo na dim arall, am ei fod yn rhoddi cyfleusdra i ni y plant i chware; ac wrth edrych yn ol at hyny o'r pryd hwn, a chofio ei fod yn un oedd yn gorfod gweithio yn galed, a chodi bob dydd am bump o'r gloch y bore, yr wyf yn gallu maddeu iddo o waelod fy nghalon. Ychydig sydd yn fyw yn ei gofio; eithr os câf fyned i'r nefoedd, bydd i mi wneyd *search* am dano er mwyn i mi allu diolch iddo. Mor ynfyd ydwyf! Yr wyf yn edrych ar Evan yn y nefoedd yn ei glôs a'i *leggins* a'i gôb lâs! Nis gallaf edrych arno ond yn y wêdd hono.

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### Y DDWY SALM GYNTAF.

Yn y Salm gyntaf y mae cyferbyniad rhwng y dyn cyfiawn a'r pechadur; ac yn yr ail Salm y mae cyferbyniad rhwng annfudd-dod terfysglyd y byd annuwiol a dyrchafiad dilys cyfiawn Fab Duw. Yn y Salm gyntaf, gwelwn yr annuwiolion yn cael eu gyru ymaith fel manus; yn yr ail Salm ni a'u gwelwn yn cael eu malurio fel llestr pridd. Yn y Salm gyntaf, ni a ganfyddwn y cyfiawn fel pren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd; ac yn yr ail Salm, yr ydym yn canfod Crist, Pencyfammodwr y cyfiawn, wedi ei wneuthur yn well na phren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd; o herwydd y mae Efe wedi ei wneuthur yn Frenin ar yr holl ynysoedd, a'r holl genedloedd yn crymu o'i flaen ac yn llyfu y llwch, tra y mae ef ei hun yn rhoddi bendith i bawb a ymddiriedant ynddo. Mae y ddwy Salm yn deilwng o'r sylw dyfalaf; y maent, yn wir, yn rhagymadrodd i holl lyfr y Salmau, a chan rai o'r hynafiaid cysylltid hwy yn un. Y maent, pa fodd bynag, yn ddwy Salm; o herwydd cawn gan Paul "megys ag yr ysgrifenwyd yn yr ail Salm" (Actau xiii. 33). Mae y gyntaf yn dangos i ni gymeriad a rhan y cyfiawn; a'r ail yn ein dysgu fod y Salmau yn Fessïaidd—yn llefaru am Grist y Messïah, y Tywysog a deyrnasa o'r afon hyd derfynau y ddaear.—*Spurgeon.*

---

DIARHEBION xi. 2: "Pan ddêl balchder fe ddaw gwarth; ond gyda'r gostyngedig y mae doethineb."

Y MAE cymheiriaid i'w cael mewn pethau moesol mor rheolaidd â chyda chreaduriaid byw mewn natur. Mae'r Bibl yn cynnwys

hanes a rheolau creaduriaid Duw; a chan hyny y mae yr undebau a geir mewn Rhagluniaeth yn ysgrifenedig yn y Gair. Dyma un o honynt: mae balchder a gwarth yn cyfansoddi cymheiriaid. Rhaid iddynt fyned gyda'u gilydd pa un bynag a ydynt yn ewyllysio ai peidio. Nis gall holl ymdrech anniddig y naill a'r llall dori y gadwen sydd yn eu rhwymo ynghyd. Maent wedi cael eu gwneyd yn efeilliaid gan Awdwr a Rheolydd y byd. Gallech mor hawdd yru ymaith y cysgod oddiwrth y corff â rhwystro gwarth rhag dilyn camrau balchder. Nis gellir dymchwelyd deddfau natur gan alluogrwydd dynion, na'u gwanychu gan gyfrwysdra dynion. Mae yma fwy na bod gwarth i ymddangos fel cosbedigaeth ar falchder mewn rhyw ddydd dyfodol. "Pan ddêl balchder, fe ddaw gwarth." Mae yn wastad rywbeth wrth law i gythryblu balchder. Nid yw dyn balch byth yn hapus Mae yn wastadol yn ofni perygl, ac yn wastadol yn ei ddysgwyl. Nid oes gan un dyn, mae yn ddiau, achos i fod yn falch; a meithrin syniadau anghyson â'ch amgylchiadau yw trwytho eich bywyd mewn trueni. Dyn balch, heb ganddo ddim i fod yn falch o hono, sydd debyg i fachgen wedi myned i faes gwaharddedig; mae yr holl bleser yno yn cael ei chwerwi gan ofn y delir ef. Mae cyflwr dynoliaeth ar y goreu yn gyflwr o ddyoddefaint yn y fuchedd hon; ond y mae balchder yn chwanegu drygau o'r eiddo ei hun. Dyna ddau ddyn wedi eu caethiwo mewn celloedd sydd o'r un maint; nid oes yr un gell yn ëang, ac nis gall yr un o'r ddau fyr fod yn gwbl foddlawn. Ond os bydd un yn ildio yn dawel, ac yn gwneyd y goreu o honi, ni bydd ei gyflwr ef yn hollol annedwydd, tra y bydd y dyn arall, wrth ymdaflu yn barhâus o'r naill ochr i'r llall i'w gell, yn gwneyd ei fywyd yn druenus, ac yn ei ddwyn yn fuan i derfyniad. Mae'r dyn gostyngedig a'r dyn balch fel eu gilydd mewn cyflwr isel, cyfyngedig; ond y mae un, wrth ogwyddo ei ben, yn gochel y dyrnod; a'r llall, wrth ymestyn ar ei hŷd, yn ei ddwyn ei hun i wrthdarawiad dinystriol yn erbyn yr attalfeydd a osododd yr Hollalluog o amgylch enaid pechadurus.

Balchder! beth sydd gan ddyn i fod yn falch o hono? Arian? nis gall roddi iddo noson o gwsg, na phrynu yn ôl gyfaill a gollwyd, na chadw angeu draw. Tir? ychydig iawn o dir a wna'r tro iddo yn fuan. Gwaedoliaeth? beth a etifeddodd ond pechod a llygredigaeth? Dysg? pe byddai yn hyny yn gydradd â Syr Isaac Newton, nid yw ond wedi ennill caregan fechan ar làn y môr, a rhaid iddo ollwng hono o'i law yn fuan. Gwell fyddai i warth ddyfod yn awr ar y balch fel llifeiriant i'w orchuddio, fel y boddo ei galon mewn duwiol dristwch; o herwydd os daw gwarth yn gyntaf wedi i drugaredd fyned ymaith am byth, mor ofnadwy a fydd hyny! yna y bydd "gwarth a dirmyg tragywyddol."

"Gyda'r gostyngedig y mae doethineb;" y ddoethineb sydd oddiuchod. Mae parthau isaf y wlad yn glŷd a ffrwythlawn; y mynyddau uchel sydd yn oer a diffrwyth. "Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd: canys eiddynt yw teyrnas nefoedd."—*William Arnot.*

---

DIAREBION xvi. 24: "Geiriau teg ydynt megys dil mêl, yn felus i'r enaid, ac yn iachus i'r esgyrn."

DARLLENIAD Dr. Briscoe ydyw, "Dil mêl yw geiriau peraidd, melusder i'r enaid, ac iachâd i'r corff" Dr. Wardlaw, yn ei ddarlithoedd ar Lyfr y Diarebion, a sylwa ar yr adnod hon fel y canlyn:—

Gwerthfawrogid mêl ganddynt hwy yn yr hen amser, nid yn unig fel yn ddanteithiol gan yr archwaeth, ond ar gyfrif ei ansoddau meddyginiaethol ac iachusol. At hyny y mae cyfeiriad yma. Mae'r geiriau yn rhoddi y syniad deublyg o *hyfrydwch* ac o *fuddioldeb.* Mae gan lawer o bethau un o'r adnoddau heb y llall. Llawer gwenwyn sydd fel mêl, yn felus i'r chwaeth; ond yn lle bod "yn iachus i'r esgyrn," sydd yn llawn o farwolaeth. Felly y gall fod gyda *geiriau,* o ran eu heffaith presennol a'u dylanwad terfynol. Nid yw gerwinder a llymder byth yn rhoddi hyfrydwch, ac ond yn anfynych yn cyfranu budd. Pe byddent yn anghenrheidiol er mantais, dylid rhoi y flaenoriaeth i hyny; o herwydd y mae mantais i'w ddewis o flaen pleser. Ond yn gyffredin ceir fod y naill a'r llall yn unedig. Rhaid, pa fodd bynag, wahaniaethu "geiriau teg," neu eiriau hyfryd, oddiwrth eiriau *gweniaithus.* Gall geiriau gweniaith fod ar y pryd yn archwaethus; ond nis gallant ar un amser fod yn amgen na niweidiol, canys nid geiriau *gwirionedd* mohonynt.

Gellir deall yr ymadrodd "geiriau teg" am eiriau o gydymdeimlad a chysur esmwythäol mewn adeg o drallod. Mae y rhai hyn, yn wir, "yn felus i enaid" y galarwr annyddanus, ac yn gyfnerthiad i'r holl egwyddorion o uniondeb sydd ynddo; o herwydd gyda golwg ar ddyddanwch, megys ar bobpeth arall, rhaid i'r geiriau teg fod yn eiriau gwir; ac onidê, ni bydd y dyddanwch yn wir ddyddanwch, ond yn troi yn chwerwder cyn y diwedd.

Gellir hefyd ddeall y "geiriau teg" am gerydd anghenrheidiol ac iachusol yn cael

ei roddi mewn modd hynaws, ac eto yn ffyddlawn. Dylid gweinyddu cerydd mewn ffyddlondeb a chariad; mor bell oddiwrth ddull o doster ffrom ag y caniatâ gonestrwydd serchog. "Tafod esmwyth a dŷr asgwrn." Gellir dal i fyny ffyddlondeb mewn cydgordiad berffaith âg addfwynder. Mae hwnw yn camgymeryd yn ddirfawr sydd yn tybied nas gall efe fod yn ffyddlawn ond trwy fod yn feistrolaidd, uchelgroch, a thanbaid. Mae yn ddiammheu fod amrywiaethau tymherau i'w trin genym; ond, yn gyffredin, bydd un gair o serchogrwydd didwyll yn myned ymhellach i gyrhaedd y nôd o "ennill ein brawd" na chant o rai gerwin a difrïol. Os bydd genym gyffyr meddygol chwerw neu ddiflas i'w weinyddu, ni a fyddwn yn awyddus i'w arddodi, os gallwn, oddifewn i ryw ddefnydd melusber. Fel hyn y dylem wneyd gyda cherydd. Mae ynddo ei hunan yn chwerw, ac yn cael ei gyfrif mewn rhai amgylchiadau yn ddrwg iawn ei flas. Bydded iddo gael ei weinyddu mewn mêl —mêl y "geiriau teg." Felly y cymerir ef yn well, ac y bydd yn debyg o fod yn effeithiol. Po mwyaf annymunol y gwyddom fod unrhyw gynghor, tra y gwyddom ar yr un pryd ei fod yn iachusol, mwyaf o reswm fydd am i'r ymadroddion â pha rai ei lleferir fod yn "eiriau teg."

Mae yr un sylw yn gymhwys at bob *dadleuaeth*. Os ein hamcan fydd argyhoeddi neu adferu—dwyn y meddwl o'i gamsyniad ac arganmawl y gwirionedd,—ni a wnawn yr oll a fydd yn ein gallu i rwystro y fath amcan wrth wneuthur defnydd o eiriau cynhyrfus, geiriau o ddiystyrwch ac o ddig, geiriau o gyfeiriadau personol ac o drahausder. Yr arwireb a ddylai fod yn wastad, *Geiriau esmwyth a rhesymau celyd.* Nid pethau gweinion a difywyd yw geiriau esmwyth. Yn ol pwysigrwydd a sicrwydd yr achos, rhaid i'n geiriau fod yn benderfynol a grymus; ond hwy a allant fod felly ac eto yn eiriau cariad—yn benderfynol a grymus ar y *mater* tra yn hynaws a theg gyda golwg ar *berson* y neb y dadleuir âg ef. Dylid bob amser gadw y ddau beth ar wahân. A pho bwysicaf y mater, a pho mwyaf ein hawydd i wneyd argraff ffafriol i'n golygiad ni arno, mwyaf a ddylai fod ein gofal i ochel pob peth a allo fod yn gythruddol a chilgwthiol.

---

# Darlleniadau Detholedig.

### MYNYDD SION.

Yr hen fynydd Sïon oedd ddarn o randir Canaan; ond mynydd Sïon ysbrydol sydd yn cynnwys sefyllfa yr eglwys trwy y nef a'r ddaear. Yno, yn y Sïon efengylaidd, y mae yr holl bethau gogoneddus wedi eu crynhoi. Mae prif-ffordd wedi ei hagor i dŷ Duw Jacob yn y mynydd, a dylifiad pobloedd tuag yno. Yno y mae brawdlys trugaredd, lle y cyfiawnheir yr annuwiol trwy ffydd yn iawn y groes. Yno y mae ysbyttŷ mawr y cleifion, wedi ei adeiladu gan Feddyg pob clwyf. Yno y mae'r dwfr bywiol yn tarddu o dan riniog tŷ y mynydd, ac yn chwyddo yn uwch uwch nes myned yn afon nofiadwy, ac yn rhoi bywyd lle bynag y rhedo y darn lleiaf o honi. Yno y mae'r gorlan dda a diogel i'r defaid orwedd; ac yno y mae Bugail mawr y defaid â'i lais i'w glywed ar ddydd cymylog a thywyll. Yno y mae Arglwydd y lluoedd wedi gwneyd gwledd o basgedigion breision i blant marwolaeth, gan ddifa y gorchudd o euogrwydd, a rhwygo llèn anghrediniaeth oddiam eu heneidiau. Yno y mae tŵr y praidd, castell merch Sïon. Yn y Tŵr Gwŷn yn Llundain y cedwir y goron a'i pherlau gwerthfawr; ond yn nhŵr y praidd a chastell merch Sïon y cedwir coron gras a gogoniant, a chofrestr au genedigaethau o'r nef, ac o briodasau holl frodorion Sïon, a llyfr yr achau, a gweithredoedd y tir, fel na bydd dadl am hawl o'r etifeddiaeth yn nydd yr ymweliad; oblegid bydd y cwbl yn ysgrifenedig yn llyfr bywyd yr Oen, hen gofres trugaredd, ac ni bydd raid dim ond agor hwnw. Yma yn mynydd Sïon y mae llyfrgell Brenin Sïon yr hwn a elwir y Bibl, neu y Llyfr yn yr hwn y mae holl gyfansoddiad y cyfammod gras wedi ei ysgrifenu gan bin ysbrydoliaeth ei hun, a'r holl gadwen fawr o etholiad i ogoneddiad wedi ei ysgrifenu ynddo; ac ni newidir yr ysgrifen byth. Os oes hanes Pedr Fawr o Rwssia yn hanes y Rwssiaid, iddo ef ddyfod i Lundain, i ddysgu gweithio llong yn ngweithfa llynges y brenin, y mae'r Bibl yn rhoddi hanes rhyfeddach am Grëwr y nefoedd, y Gair tragywyddol, yn dyfod i'r ddaear, yn cael ei alw yn fab y saer, ac iddo â'i fwyall, a'i forthwylion, a'i hoelion, a'i astyllod, ac â'i ddwylaw ei hun, wneuthur llong fawr yr iachawdwriaeth i fasnachu mewn bywyd tragywyddol ac i ymladd ei ffordd trwy ganol yr ystormydd a'r môrladron mewn modd buddugol, yr hon a ymddangosodd dan ei chyflawn hwyliau ar fore'r trydydd dydd, gydag awel deueu bywyd tragywyddol yn gweithio yn hyfryd ar ei llïan. "Er ei fod yn Fab, efe a ddysgodd ufudd-dod." Mae Josephus yn dywedyd fod mynydd Morïah, lle y codwyd y deml, a mynydd Sïon, wedi eu gwneyd yn un, a'r ffordd i fyned i'r deml, oddiwrth ei halloráu, i gopa mynydd Sïon, trwy *arch* fawr a daflwyd o làn i làn dros geudod y dyffryn dwfn a thywyll. Y mae ein Harglwydd Iesu wedi gwneyd llwybr o Galfaria, trwy fynedfa fwaog ei gyfryngdod, i'r eglwys fod yn yr un sefyllfa ar y ddaear ac yn y nef. Gwnaeth

ffordd dros gwm marwolaeth i'r drydedd nef trwy ei waed ei hun, fel y dywedir wrth yr Hebreaid, "Chwi a ddaethoch i fynydd Sion," nid wedi meirw, ond yn awr trwy ffydd. Paham y llemwch, chwi fynyddoedd cribog? mae mynydd Duw yn uwch ei grib na chwi oll; canys dyma y mynydd a chwennychodd Duw ei breswylio; ac efe a'i preswylia yn dragywydd.—*Christmas Evans.*

---

### Y PURITANIAID.

Nid oedd y Puritaniaid yn ŵyr annysgedig ac anwybodus. Yr oedd y mwyafrif mawr o honynt yn raddogion Rhydychain a Chaergrawnt, llawer o honynt yn gymrodyr (*fellows*) o golegau, a rhai o honynt yn benaethiaid y colegau rhagoraf yn y ddwy Brifysgol. Mewn gwybodaeth o Hebraeg, Groeg, a Lladin, ac mewn gallu fel pregethwyr, esbonwyr, ysgrifenwyr, a beirniaid, nid oedd y Puritaniaid yn eu dydd yn ail i neb. Y mae eu gweithoedd yn llefaru drostynt eto ar estyll pob llyfrgell dduwinyddol a gyfleenwyd yn dda. Eu hesboniadau, eu deongliadau, eu traethodau ar duwinyddiaeth ymarferol, profiadol, a pherthynol i achosion cydwybod, ydynt yn rhagori yn anfesurol ar yr eiddo eu gwrthwynebwyr yn yr eilfed ganrif ar bymtheg. Yn fyr, nid yw y rhai sydd yn dal i fyny y Puritaniaid i ddirmyg fel dynion bâs ac anllythyrenog, yn gwneyd dim ond dynoethi eu penfasedd galarus eu hunain, eu hanwybodaeth o ffeithiau hanesyddol, a nodweddiad hynod arwynebol eu darlleniad eu hunain.

Gwnaeth y Puritaniaid, fel corff, fwy i ddyrchafu y nodweddiad cenedlaethol nag un dosbarth o Saeson a fuont fyw erioed. Dyna hwynt yn caru yn wresog ryddid gwladol, ac yn barod i farw i'w amddiffyn—yn alluog wrth fwrdd y cynghor, ac nid yn llai galluog ar faes y frwydr—yn cael eu hofni ar led trwy Ewrop, ac yn anorchfygol gartref tra yn unedig—yn enwog gyda'u pinau ysgrifenu, ac nid yn llai enwog gyda'u cleddyfau—yn ofni Duw yn fawr, ac yn ofni dyn yn ychydig,—ac felly yr oeddynt yn genedlaeth o ddynion na dderbyniasant oddiwrth eu gwlad yr anrhydedd ddyledus iddynt. Y corff o ba un yr oedd Milton, Selden, Blake, Cromwell, Owen, Baxter, a Charnock, yn aelodau, sydd gorff na weddai i un Sais wedi ei ddysgu yn dda byth siarad yn anmharchus am danynt. Gall anghymheradwyo eu hegwyddorion, os myn, ond nid oes ganddo un hawl i'w diystyru. Arglwydd Macaulay, yr hwn nad yw yn awdurdod isel mewn materion o hanesyddiaeth Seisonig, a ddywed yn ei erthygl enwog ar Milton, "Nid ydym yn petruso dadgan fod y Puritaniaid yn gorfforaeth ddewr, ddoeth, onest, a defnyddiol." Ar ol iddynt hwy fyned ymaith, yn annedwydd dilynwyd hwy gan genedlaeth ddiriaid, gellweirus, ammheugar; ac felly yr oedd eu henwau da yn dyoddef wrth fyned drwy ddwylaw rhagfarnllyd; ond "barner barn gyfiawn" am danynt, a cheir hwy yn wŷr nad oedd y byd yn deilwng o honynt. Po fwyaf y gwybyddir am danynt, mwyaf y perchir hwynt.—*Dr. Ryle, Esgob Liverpool.*

### ARWEINYDDION EGLWYSIG.

Y mae yn rhaid i bob cymdeithas wrth arweinyddion. Buan y syrth unrhyw gorff teuluaidd, gwladol, neu eglwysig, i annhrefn, os bydd heb ryw un sydd wedi ei gynnysgaethu yn amlwg â chymhwysderau i arwain a llywodraethu. Achlysur cyffredin yr anghydfyddiaethau a'r terfysgoedd blinion sydd mor fynych yn molestu yr eglwysi, ac yn bwyta eu nerth, ydyw diffyg arweinyddion, neu yn hytrach diffyg arweinyddion gwirioneddol; oblegid y mae yn rhaid i bob corff gael swyddogion; nis gellir ymsymud ymlaen heb rywrai i arwain; ac y mae yr anghenrhaid hwn yn peri fod yn aml flaenoriaid mewn enw yn unig, heb fod felly mewn gwirionedd. Y dyn teilwng i'w osod mewn swydd, ymha gymdeithas bynag, ydyw y dyn ag y mae'r swydd, yn ei chymhwysderau, ynddo ef o'r blaen. Nid all un seremoni o osodiad a dewisiad, er i'r seremoni hono fod yn unol â gair Duw, byth wneuthur dyn bychan yn ddyn mawr, a chyfranu cymhwysder i'r anghymhwys. Yn lle ei wneyd yn fwy, y mae ei osod mewn lle mawr yn ei wneuthur yn annhraethol lai nag o'r blaen. Y mae efe, druan, drwy ei osod mewn swydd, mewn lle ag y daw ei fychandra yn fwy i'r golwg yn barhâus. Bydd y bobl bellach dan demtasiwn i ddal mawredd y swydd a bychander y dyn gyferbyn â'u gilydd. Pe heb y swydd, cawsai ei oddef a'i barchu fel aelod cyffredin yn yr eglwys; ond nid edrychir arno mwyach gan yr aelodau fel un o honynt hwy, eithr fel un wedi ei neillduo o'u plith, a'i ddyrchafu uwchlaw iddynt. Pe buasai uwchlaw iddynt mewn gwirionedd, cawsai ei barchu gan ddynt; ond gan nad yw yn rhagori arnynt eithr yn unig mewn swydd—gan mai nid ynddo y mae y rhagoriaeth, ond *o'i ddeutu*, y mae yn debyg y caiff cyn hir fesur da o wrthwynebiad a diystyrwch oddiwrthynt. Y mae hyny yn anocheladwy; ac arwydd dda ar ddynoliaeth ydyw ei bod yn casâu ffug; ac y mae ffug mewn cysylltiad âg eglwys Dduw yn fwy gwrthun na chyda dim.

O bob swyddog anghymhwys, nid oes neb mor anghymhwys i'w le a'i waith â'r eilunfugail. Creulondeb yn wir â'r dyn amddifad o gymhwysder ydyw ei godi i le ag y mae cyfrifoldeb mawr yn perthyn iddo. Ac ynfydrwydd perffaith yn y dynyn eiddil ei hun ydyw chwennychu y cyfryw le; o herwydd os ydyw heb fod yn fyrach na'r cyffredin mewn synwyr a barn, mae yn sicr o ddyfod cyn hir i deimlo ei fychandra; a chanlyniad yr ymwybyddiaeth yma o anghymhwysder fydd, naill ai ymollwng i lwfrdra, a thrwy yr ymollyngiad hwnw fyned, pe byddai bosibl, yn eiddilach nag o'r blaen, neu geisio gwneyd i fyny am y diffyg o *gymhwysderau* swyddol â mwy na digon o *honiadau* swyddol. Y mae peth fel hyn yn dygwydd yn fynych. Y lleiaf ei gymhwysderau ydyw y mwyaf ei honiadau. Yr hwn ag y mae lleiaf o'r swydd ynddo sydd yn dadwrdd mwyaf am urddas ac awdurdod swydd. Os na theimla y bobl fod *ansoddau* swyddwr *ynddo*, gwna efe

iddynt ddeall fod *awdurdod* swyddwr *ganddo*. Nid perygl y dyn sydd wedi ei wneuthur gan natur a gras yn arweinydd ar ddynion ydyw tra arglwyddiaethu arnynt, ond perygl y dyn sydd heb ddawn i arglwyddiaethu. Nid y gwir frenin un amser sydd yn troi yn ormeswr, ond y ffug-frenin, yr hwn a wnaed i wasanaethu yn hytrach nag i deyrnasu. Yr anfedrus i iawn lywodraethu, mewn byd ac eglwys, sydd yn troi i ormesu. Gall y gwir swyddog fod mewn eglwys am oes gyfan heb sôn unwaith am ei hawliau. Yr awdurdod uchaf, a'r unig awdurdod eglwysig gwerth ei meddu, ydyw hono sydd yn gweithredu, fel pob peth gwir rymus, yn ddystaw ac anweledig. Nid yw y plentyn erioed wedi clywed y gair *awdurdod;* ni bu ei fam erioed yn areithio wrtho ar ei hawliau hi fel yr hon â'i hymddŷg; eto y mae'r plentyn yn teimlo rhywbeth yn ei phresennoldeb sydd yn ei wneyd yn ddarostyngedig iddi ac ymddibynol arni. Dyma yr unig awdurdod swyddol y mae yn werth ei chael: yr awdurdod sydd yn codi oddiar gymhwysderau mwy na chyffredin, yn effeithio ar eraill yn ddiarwybod iddynt, ac heb un ymgais o eiddo'r dyn ei hun. Nid oes dim yn diogelu heddwch eglwysig yn fwy na bod ymhob eglwys un dyn wedi ei greu gan natur a gras yn "frenin dynion." Ac oddieithr fod y cyfryw un ymhob eglwys, cyfyd ynddynt fân ddynion, brodyr i Diotrephes, yn chwennychu y blaen, yn gorsychedu am swydd, ac ar bob cyfle yn rhuthro at orchwylion nad oes ganddynt ddim cymhwysder iddynt. Ac wedi y cyfyd un felly, daw amryw eraill i ymgais yn ei erbyn, am nad ydynt yn gweled yn Diotrephes ddim rhagoriaeth arnynt hwy eu hunain; a dywedant, "Os ydyw efe yn gymhwys i flaenori, yr ydym ninnau hefyd yn gymhwys." Yn fuan gwelir yno fwy nag un Diotrephes, a phob un yn ben ar blaid, ac yn ceisio lleihâu dylanwad a gobeithion swyddol ei wrthwynebydd. Bellach y mae yr eglwys, fel y bydd un gweinidog yn arfer dyweyd, "fel nyth cacwn." Nid ellwch ymddangos mewn un cyfarfod na chyfeillach na chewch eich pigo a'ch gwaedu; mae yr aelodau yn drwgdybio eu gilydd ymhob peth; maent yn fedrus mewn dychymygu drygioni yn erbyn eu gilydd; mae athrod ac enllib yn tramwy gyda rhwysg yn eu mysg, gwir grefydd yn adfeilio ymysg yr aelodau, y plant yn cael eu gwenwyno â hadau malais a chenfigen o'u mebyd, Cristionogaeth yn y lle yn colli un o'r profion penaf o'i Dwyfoldeb, ac enw Duw o'u plegid yn cael ei gablu ymysg annuwiolion! Fel hyn y mae wedi bod, onidê, mewn llawer eglwys? a gwyn fyd nad allem ddywedyd mai *wedi* bod y mae! A cheir mai un o brif achosion y cyfryw sefyllfa annedwydd ac anghristionogol ar bethau ydyw swyddogaeth anghymhwys.—*John Hughes, D.D., Liverpool.*

---

YMADRODDION Y DOETHION.

Llawer o bethau a elwir gan y byd yn siomedigaethau; oni nid oes y fath air â siomedigaeth yn ngeirlyfr ffydd. Yr hyn a eilw eraill yn amgylchiad o siomedigaeth a eilw credadyn yn amlygiad o ewyllys Duw.

Gwnewch dda, ond nac ymffrostiwch o herwydd unrhyw ddaioni a wneloch, gan y bydd hyny yn ei ddyfetha neu yn ei ddifwyno.

Mae hawddfyd wedi bod yn wastad yn fwy niweidiol i ddynion nag adfyd; canys gwelir mai haws i ddyn ddwyn cyflwr o iselder bydol mewn boddlonrwydd na mwynhâu llwyddiant bydol mewn gostyngeiddrwydd.

Gall cyfoeth fod, fel dwfr neu dân, yn was da; ond, fel hwythau, y mae yn feistr ofnadwy.

Na chywilyddiwch o herwydd eich galwedigaeth, beth bynag yw, os ydyw yn un onest, ond ceisiwch fod yn oreu ynddi. Ffol yw'r gôf sy'n achwyn ar wreichion ei efail ei hun.

Nid oes gan bobl feilchion byth gyfeillion; oblegid pan mewn uchelder, nid ydynt hwy yn cydnabod neb; a phan mewn iselder, ni bydd neb yn eu cydnabod hwythau.

Pan ofynir am gymwynas genych, gwnewch yn ebrwydd os gellwch; ond os nad ellwch mewn gwirionedd, atebwch yn y fath fodd ag na bydd eisieu i chwi roddi ail atebiad.

Nid hawdd barnu pa un ai y neb a geir yn chwerthin yn barhâus, ai ynte y neb a ocheneidia yn barhâus, yw y cydymaith mwyaf beichus i'r teimlad.

Mae côf hen bobl yn debyg i'w llygaid, yn gryfach i ganfod pethau heb fod yn agos atynt.

Byddwch ddiddichell a dihoced. Nid oes neb sy'n teithio ar ffordd uniawn yn colli ei ffordd.

Iechyd da ni phery yn hir, ond enw da a bery byth. Edrychwch yn fanwl gan hyny ar ol eich cymeriad.

Mae celwydd, tra heb goesau i sefyll arnynt, eto, ysywaeth, â chanddo adenydd i ehedeg â hwynt.

Nac edrychwch i lawr ar neb am ei fod yn ddiffygiol o ddawn arbenig a all fod genych chwi; hwyrach ei fod ef yn meddu ar ddoniau eraill o werth âg yr ydych chwi hebddynt.

Byddwch ofalus i gadw eich gair, hyd yn nôd ynglŷn â'r addewid ddistadlaf; ond na chondemniwch arall am fethiant yn hyny cyn i chwi yn gyntaf glywed ei ymesgusodiad.

Nid yn gyffredin y bydd blaidd eglwysig ar ei ben ei hun yn ymosod ar gymeriad cyhoeddus, eithr yn nghwmni bleiddiaid rheibus eraill. Aml ddyn da a orfu ddywedyd ar ol y Salmydd, "Llawer sydd yn rhyfela i'm herbyn, O Ddaw Goruchaf."

Nac ewch i bysgota am ganmoliaeth; ni bydd yn werth eich abwyd.

Yr ydym i dderbyn cynnaliaeth crefydd yn ordinhadau yr efengyl, ac i ddangos ymarferiadau crefydd yn ein gorchwylion bydol.

Nid ydym i ddysgwyl unffurfiaeth yn ngweithredoedd Duw. Dywedir nad oes dwy ddeilen, ac, yn ddiau, nid oes dau ddyn, yn gwbl yr un fath.

Nid yr hyn a wnelo dyn yn llwyddiannus, ond yr hyn a wnelo yn wir deilwng, sydd yn werth ei gofnodi.

# Barddoniaeth.

## PENNILLION COFFADWRIAETHOL AM Y DIWEDDAR MR. GRIFFITH JONES, BRON RHIW, BALA.

*Un o destynau Cyfarfod Llenyddol y Methodistiaid yn y Bala, Nadolig, 1880.*

### Y FEIRNIADAETH.

Y mae yn syn genyf na fuasai mwy na dau wedi ymgystadlu ar y testun hwn. Eu henwau ydynt *Galarwr* a *Deigryn*. Y mae *Galarwr* wedi cyfansoddi pennillion da, ac y mae yn haeddiannol o wobr. Ei ddiffyg ydyw fod ei gyfansoddiad yn ddesgrifiad gan mwyaf o bob dyn da, ac nid o deithi a chymeriad neillduol Mr. Griffith Jones. Y mae *Deigryn* wedi llwyddo i roddi darlun mwy byw o'r gwrthddrych, yn ei ddangos ef ei hun, ac nid neb arall, i'r darllenydd. Ac heblaw hyn, y mae *Deigryn* yn ei holl gyfansoddiad yn profi ei fod yn meddu ar fwy o nerth mewn meddwl a theimlad. O herwydd y rhesymau hyn, rhodder y wobr gyntaf i *Deigryn*, a'r ail i *Galarwr*.

Nis gallaf derfynu hyn o sylw heb ddwyn fy nhystiolaeth bersonol i gymeriad Mr. Griffith Jones. Yr oedd efe yn haeddu gwneuthur o honom hyn iddo; oblegid yr oedd efe, nid yn unig yn caru ein cenedl ni, ond yn caru achos yr Arglwydd Iesu Grist yn fwy na phob achos arall. Yr oedd natur wedi ei wisgo â doniau tu hwnt i'r cyffredin; ac yr oedd gras wedi ei arwisgo a chymhwysderau i fod yn ddefnyddiol gyda gwaith ei Arglwydd. Gwnaeth y defnydd goreu o'r talentau a roddwyd iddo; ac am iddo fod yn ffyddlawn ar ychydig, y mae yn awr wedi ei osod ar lawer.—LEWIS EDWARDS.

GYDGREFYDDWYR yn y Bala,
  Na foed ini 'n hwy ymdroi
Mewn cysgadrwydd pechadurus—
  Gadewch ini gyd-ddeffroi:
Ymwregyswn, canys wele
  Fel mae 'r fyddin yn lleihâu—
Fel mae cewri 'n rheng yn cwympo—
  Fel mae 'r bylchau 'n amlhâu.

Dyma un o'r prif golofnau
  Oedd o dan yr "Achos mawr,"
Gan lèm-finiog fwyall angau
  Wedi cael ei dori i lawr:
Ac os mynwn yn effeithiol,
  Roi i'w goffadwriaeth barch,
Rhown yn ufudd ac 'wyllysgar
  "Ein hysgwyddau dan yr arch."

Agos, agos, at ei galon,
  Oedd "yr achos" yn ein plith;
Ac ymroddodd, gorff ac enaid,
  I'w was'naethu yn ddi-rith:
"Blaenor" ydoedd, mewn gwirionedd,
  Ar y llawr yn eglwys Dduw;
A thrwy farw mae ef wedi
  Ein blaenori adre' i fyw.

Trown ein golwg am ychydig
  At ei fywyd yn ein mysg,
Ac ymdrechwn oddiwrtho
  I gymeryd gwerthfawr ddysg:
Dyma un o'r cymeriadau
  Prinion hyny, dâl o hyd
Eu mawrhâu a'u hefelychu
  Gan bob dosbarth yn y byd.

Dyn ymroddgar gyda phobpeth;
  Dyn nodedig am ei bwyll;
Mynai wneyd pob peth yn drwyadl
  Ac nis gallai oddef twyll:
Profai 'r oll o'i ymddygiadau!
  Fod o'i fewn gallineb llawn—
Dyn â synwyr mor gyffredin
  Nes yn anghyffredin iawn.

Difrifoldeb, a sirioldeb,
  Oeddynt ynddo 'n bur, ddi-ddarn;
Yn yr oll o'i gysylltiadau
  Cerddai ganol llwybr barn:
Yn ei eiriau ef un amser
  Nid oedd trymder, er fod pwys;
Ac er bod yn llawn sirioldeb,
  Nid oedd ynddo ddim yn fwys.

Pleidiwr zelog i ddiwydrwydd,
  A darbodaeth, oedd efe;
Carai lendid, a threfnusrwydd,
  A phrydlondeb ymhob lle;
Rhoddodd ef i'r gair "gonestrwydd,"
  Yn ei fywyd ystyr llawn;
Ac yr oedd ffyddlondeb hefyd
  Ynddo 'n rhinwedd amlwg iawn.

Dyna gyfres o rinweddau
  Sydd yn dwyn tystiolaeth gref,
Fod pob un sydd yn eu meddu
  Yn ymgyrchu tua 'r nef;
O'i gymeriad cyflawn, prydferth,
  Nid oedd un o'r rhai 'n yn ngholl;
Ceid ei fywyd ef yn draethawd
  Ymarferol, ar yr oll.

Meddai ysbryd penderfynol—
  Eto 'n addfwyn a di-drais;
Er fe allai iddo roddi
  Ambell ddiogyn dan ei glais;
Nid oedd bryniau anhawsderau
  Iddo ef, ond defnydd rhwydd
I gyflenwi cymoedd rhwystrau
  Ar ei ffordd i gyrhaedd llwydd.

Rhoddodd ateb cadarnhâol
  Yn ei fywyd, ar bob pryd,
I'r ymholiad "A yw 'n bosibl
  Gwneyd y goreu o'r ddau fyd?"
Llwyddodd ef i ennill safle
  Anrhydeddus iawn fel dyn;
Ac ennillodd gyda hyny
  Deyrnas nefoedd iddo 'i hun.

Rhyfedd hefyd, fel mae 'r Arglwydd
  Weithiau 'n trin ei anwyl rai,
Trwy eu taflu i brofedigaeth,
  Er cael gwel'd oes ynddynt fai:
Am helbulon yr annuwiol
  Yn y byd, cheir fawr o son*—
Saint sy 'n cael ei profi yma—
  Ac fe brofwyd Griffith Jones.*

Fel yr haul ar fore hyfryd,
  Yn tywynu 'n ddysglaer iawn,

* Odl gudd

Gan chwanegu gwres a goleu
  Hyd yn nghanol y prydnawn—
Yna 'n myn'd dan gwmwl tywyll,
  Nas gall llygaid dreiddio trwy,
Ond yn ail ymddangos wed'yn
  Mewn gogoniant llawer mwy—

Felly yntau; fe gynnyddai
  Ei ddylanwad ymhob lle;
A'i gymeriad a edmygid
  Gan drigolion gwlad a thre':
A phan ddaeth *ei brofedigaeth*,
  Cafwyd prawf fod ynddo 'r gwir—
*Haul oedd ef* pan dan y cwmwl,
  Fel pan yn yr awyr glir.

A phan aeth y cwmwl heibio,
  Mor ddilychwin oedd efe—
Harddach ydoedd ei gymeriad
  Nag o'r blaen—os ydoedd lle:
Wedi dal y fath ystorom,
  Gurai arno ef mor hyf,
Heb ymollwng dan y rhuthr—
  Rhaid fod ganddo wreiddyn cryf.

Oedd! caed gwreiddyn ei gymeriad,
  Nid yn mraenar daear dyn,
Ond yn treiddio i'r dyfnderoedd,
  Ac yn cydio yn Nuw ei hun:
Dyna achos mawr ei lwyddiant,
  Dyna roddai arno werth,
Oddiyno 'r oedd ei fywyd,
  Oddiyno 'r oedd ei nerth.

Yr oedd ganddo nerth rhyfeddol,
  Medrai gadw ei hun i lawr;
Cadwai wych wastadrwydd tymher,
  Gyda hunanfeddiant mawr;
Nid oedd llwyddiant yn ei rwystro,
  Nid oedd aflwydd yn gwneyd dim,
Nid oedd cystudd chwaith ond moddion
  Iddo ennill mwy o rym.

Yn ei gystudd trwm diweddaf,
  Pan oedd pawb yn teimlo 'n brudd,
Wrth ragweled y dyfodol,
  Teimlai ef ei hun yn rhydd
Oddiwrth ofn yr hen Iorddonen;
  Canys gwyddai am y Gŵr
Sydd yn gyfaill parod ynddi,
  I ddal pen uwchlaw y dŵr.

Gwelid rhyw dawelwch nefol
  Yn cartrefu ar ei wedd;
Pwyllus ydoedd, ac ni frysiai,
  Prawf o fynwes lawn o hedd;
Ië, heddwch rhyngddo â'r nefoedd
  Wnaeth i'w ofnau ymbellhâu,
Pan oedd angeu mewn gwedd erchyll
  I'w gyfarfod yn nesâu.

Er nad oedd yn ofni marw,
  Eto yn ei gystudd maith,
Tystiai fod grwgnachrwydd ysbryd
  Yn ei flino ambell waith;
Ond erioed ni thorodd allan,
  Ac ni wyddai undyn byw,
Fod o'i fewn ddim byd o'r cyfryw,
  Ond efe ei hun a Duw.

Dyma dd'wedai, "Mae 'n gywilydd
  Imi, am fy ysbryd ffol;
Er fod Satan yn cernodio,
  Eto ni rwgnachodd Paul:
Oni ddylwn i ddyoddef
  Hyn o boen, a llawer mwy!
Canys bu fy anwyl Iesu 'n
  Dyoddef drosof farwol glwy'.

"Mi a wn i bwy y credais,
  Mi a wn pwy yw fy Nhad,
Ac mai ef sy 'n fy nghystuddio
  I'm haddfedu tua 'r wlad:"
Dyna iaith ei ymostyngiad
  Pan yn rhodio yn y glyn;
(O fy Nuw, rho di i minnau
  Allu marw 'n gryf fel hyn.)

Mawr fy hiraeth sydd am dano,
  Wrth adgofio llawer awr,
Pan y bum yn caffael trwyddo
  Gysur a sirioldeb mawr;
Ac mae 'ngalar yn ymffurfio 'n
  Ddagrau heilltion ar fy ngwedd,
Am ei fod ef heddyw 'n ddeiliad
  Ymherodraeth "pryf y bedd."

Ydyw! mae y llais arianaidd
  Wedi tewi yma byth,
Ac nis gwelir y boneddwr
  Brydferth, mwyach yn ein plith:
Chwith yw gwel'd yr allor hebddo,
  Chwith bod heb ei gynghor gwiw;
Na, nid ŷm i'w ddysgwyl eto
  Hyd yr heol o Fron Rhiw.

Eto i gyd, nid raid galaru,
  Na hiraethu cymaint chwaith,
Am ein hanwyl frawd, o herwydd
  Mor gysurlawn ydyw 'r ffaith,
Nad yw 'r bedd yn *fedd* i'r cristion,
  Dim ond llettŷ noson yw,
Wedi ei drefnu gan ei Geidwad
  A'i gysegru gan ei Dduw.

Adgyfodir mewn gogoniant
  Wrthddrych yr alargan hon;
Bydd ei gorff mewn annattodol
  Undeb, gyda 'i ysbryd llon,
Sydd yn ddiau heddyw 'n rhodio
  Bryniau Gwynfa mewn mwynhâd,
Ac yn gwledda ar ddanteithion
  A chan' croesaw tŷ ei Dad.

* * * * *

Ysbryd Duw gyfodo weithwyr—
  Gweithwyr fel ein hanwyl frawd,
Rhag i'r winllan yn y Bala
  Fyn'd yn ddiffrwyth ac yn dlawd;
O na chyd-ddisgynai mentyll
  Ein hen dadau arnom ni,
In' gael gweled Sïon anwyl
  Unwaith eto yn ei bri!

DEIGRYN, *neu* GWRTHEYRN.

---

GWAREDIGAETH Y LLEIDR EDIFEIRIOL.

GOLLYNGWYD o gell angau—yr adyn
  Llygredig ei foesau;
Ha! 'r oedd UN i'w ryddhâu
O'i benyd a bythol boenau!

O. P. O.

## Y CRISTION YN MARW.

Yn nyfroedd ingoedd angau—y byd
A'i barch yn troi cefnau—
Fe 'i swynir gan fyw seiniau—y côr cu
A fola Iesu mewn nefol leisiau.

E gaiff fyn'd i gyffiniau
Sy 'n llawn hedd, a llawenhâu,
Ac yfed o'r deg afon
Lawenhâ breswylfa 'r Iôn,
A byw ar bren y bywyd
Heb sôn am boen yn y byd,
A mwynhâu yno mewn hedd
Ei Ganaan â'i gogoniedd!
Y gu lanerch, deg lonydd,
Wedi 'r farn ei drigfa fydd.

*Rhostryfan.* O. Parry Owen.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### MARWOLAETHAU GWEINIDOGION.

#### Y PARCH. JOHN WILLIAMS, LLANDRILLO, DWYRAIN MEIRIONYDD.

Nis gallasem yn ein rhifyn diweddaf ond rhoddi crybwylliad byr am farwolaeth ddisymwth Mr. Williams, yn ol hysbysiad a welsem mewn newyddiadur Seisonig. Yr oedd efe yn wael ei iechyd er ys amser; ond tybid ei fod yn gwella yn raddol. Aethai i ymweled am rai dyddiau â'i frawd yn nghyfraith, Mr. Roberts, Fronderwen, gerllaw Rhuthyn; a bore Gwener, Ionawr 20fed, cychwynodd adref. Yr oedd Mr. Roberts wedi myned gydag ef i orsaf Derwen oddeutu naw o'r gloch; ac yno eisteddodd Mr. Williams, ac yn ebrwydd bu farw yn dawel heb ddywedyd gair; ehedodd ei enaid o orsaf y *railway* i'r trigfanau nefol. Yr oedd efe yn enedigol o ardal Penllwyn, Sir Aberteifi; ac yno y dechreuodd bregethu yn 1842. Daeth yn fuan i Athrofa y Bala; ac yn Sir Feirionydd y trigodd mwyach am weddill ei oes. Priodwyd ef er ys tua 36 mlynedd â Miss Rebecca Roberts, Pencelli, gerllaw'r Bala; ac ordeiniwyd ef yn y fl. 1849. Bu tua phum' mlynedd yn cadw ysgol ddyddiol yn nhref y Bala. Yn 1850, cymerodd dyddyn Tŷ'n y coed, Llandrillo; ac ennillodd ganmoliaeth mawr fel amaethwr medrus, a gŵr cywir ymhob cylch, gwladol yn gystal âg eglwysig. Yn 1853, penodwyd ef yn Ysgrifenydd Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd, a llanwodd y swydd hono yn effeithiol am bedair blynedd ar hugain. Yr oedd yn un o Gyfarwyddwyr Athrofa y Bala dros Ddwyrain Meirionydd. Efe oedd Llywydd ei Gyfarfod Misol am y flwyddyn 1877; bu yn traethu ar Natur Eglwys yn Nghymdeithasfa Gwrecsam, Mehefin, 1878, ac yn Llywydd Cymdeithasfa'r Gogledd am 1879. Teimlai ei iechyd yn adfeilio cyn diwedd y flwyddyn hono, ac ni chafodd adferiad nerth. Ond ymegnïodd i gyflawni ei ymrwymiadau Sabbothol, mor gyson ag y gallai, hyd fis Mehefin y flwyddyn ddiweddaf. Y trydydd Sabboth o'r mis hwnw, yr oedd yn pregethu yn Mhenllwyn, ei hen gartref, pryd y traddododd ddwy bregeth effeithiol, y naill ar Gyfiawnhâd trwy ffydd, a'r llall ar ymestyn at berffeithrwydd; a dyna'r tro olaf y pregethodd. Ac ar ol misoedd o wendid, efe a fu farw yn ddisymwth, fel y dywedwyd, yn ngorsaf Derwen, Sir Ddinbych, yn 67 mlwydd oed. Ei angladd yn Llandrillo, ddydd Gwener, Ionawr 27ain, oedd y lliosocaf o bobl a welwyd yno erioed, a llawer o honynt wedi dyfod o bell. Wrth y tŷ, y Parch. R. Roberts, Dolgellau, a ddarllenodd gyfran o'r Ysgrythyr, ac a weddïodd. Wrth y bedd, yn mynwent eglwys y plwyf, gweinyddwyd, yn ol y drefn newydd, gan y Parch. Dr. Edwards. Aethpwyd o'r fynwent i'r capel, lle y llywyddid gan y Dr. Edwards, y dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. R. Williams, Llanuwchllyn, ac y gwnaed sylwadau priodol gan y Parchn. Ellis Evans, Llandrillo; Thomas Davies (Annibynwr); E. Williams, Cynwyd; R. Roberts, Dolgellau; J. Davies, Bontddu; a D. Davies, Abermaw: a Mri. R. Rowlands, Ffestiniog; Absalom Prys, Penllwyn; a C. Lloyd, Llanfihangel. Yr oedd yn wyddfodol nifer mawr o bregethwyr a blaenoriaid, gyda chyfeillion lawer o wahanol barthau; a theimlai pawb fod gŵr nodedig o ffyddlawn a doeth wedi eu gadael.

#### Y PARCH. ABRAHAM OLIVER, LLANDDEWI BREFI SIR ABERTEIFI.

Bore Llun, y 6ed o'r mis diweddaf, bu farw y brawd anwyl a chymeradwy hwn, er chwithdod a galar mawr i'w holl gyfeillion a'i gydnabod lliosog. Yr oedd efe yn nhaith Llanilar, Sabboth y 29ain o Ionawr, lle y pregethodd deirgwaith. Teimlodd cyn diwedd oedfa'r bore fath o gysgadrwydd yn ymaflyd ynddo; ond pregethodd drachefn y prydnawn a'r hwyr, heb ddychymygu mai angeu oedd yn dechreu gwneyd ei waith terfynol arno. Y Sabboth canlynol yr oedd efe "yn yr Iorddonen ddu;" a'r dydd ar ol hyny, efe a hunodd yn yr Iesu. Yr oedd efe a'i frawd, y Parch. David Oliver, Twrgwyn, yn efeilliaid; a ganwyd hwynt mewn ffermdŷ o'r enw Gelmost, rhwng Pontarfynach a Chwmystwyth. Dechreuasant bregethu yr un amser, dros bum' mlynedd ar hugain yn ol, a daethant trwy yr un arholiad Cymdeithasfäol, a chawsent eu hordeinio yn yr un Gymdeithasfa, sef yn 1860. Yr oedd Mr. Abraham Oliver wedi ei alw i fugeilio eglwys Llanddewibrefi er ys dwy flynedd ar hugain. Cyfrifid ef fel un o'r rhai blaenaf, os nad y blaenaf oll, yn ei Gyfarfod Misol, a dywedai Mr. Davies, Cwrtmawr, yn ei angladd, mai efe oedd "y *dyn* mwyaf a gollwyd yn Sir Aberteifi yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, er y collasid rhai *pregethwyr* mwy nag ef." Ar ddydd ei gladdedigaeth, dydd Gwen-

er, Chwefror 10fed, yr oedd torf liosog iawn wedi ymgasglu i Landdewi, a'r olwg ar bawb fel plant wedi colli eu tad. Yn y tŷ cyn cychwyn, y Parch. W. Jones, Aberystwyth, a ddarllenodd ac a weddiodd. Yna aeth y dyrfa tua mynwent capel Tregaron, lle yr oedd claddfa y teulu; a dywedir fod y lliaws gyda'u gilydd yn cymeryd tua milldir a hanner o ffordd cyn cyrhaedd Tregaron. Yno, yn y capel, llywyddwyd gan y Parch. J. Jones, Tregaron; dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. D. Morgan, Ysbytty; a'r Parchn. J. Evans, Abermeurig; J. Owens, Blaenpennal; E. Evans, Pennant; T. Levi, a T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth, gyda Mr. Davies, Cwrtmawr, a alwyd i wneyd sylwadau ar yr achlysur pruddaidd; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. R. Davies, Borth. Yn y fynwent gweinyddwyd gan y Parchn. D. Morgan, Penllwyn, a T. Edwards, Cwmystwyth. Bu Mr. Oliver farw yn 58 mlwydd oed, gan adael gwraig a dau o blant ar ei ol.

---

MARWOLAETH PREGETHWR IEUANC.

Nos Sadwrn, y 4ydd o Chwefror, bu farw Mr. ROBERT WILLIAMS, Nant Lleyn, wedi hir nychdod gan y darfodedigaeth, yn 28 mlwydd oed. Bu yn pregethu am oddeutu saith mlynedd; a chredid gan bawb oedd yn ei adwaen ei fod yn wir was i Grist. Yr oedd yn meddu ysbryd gwir grefyddol ac yn ei holl ymarweddiad yn ddiargyhoedd, ac yn awyddus am achub y rhai a wrandawent arno. Bu am rai blynyddoedd o dan addysg y Parch. J. Evans, B.A., Clynnog; ac wedi hyny bu yn Dublin hyd nes y pallodd ei iechyd ddechre yr haf diweddaf. Claddwyd ei weddillion marwol yn mynwent capel Penrhos, gerllaw Pwllheli, dydd Iau y 9fed o Chwefror, pan y gwasanaethodd, yn y tŷ, yn y capel, ac wrth y bedd, y Parchn. W. Griffith, Penmachno; W. Jones, M.A., Fourcrosses; J. R. Williams, Pentreuchaf; T. Williams, Rhydyclafdŷ; J. Hughes, Edeyrn; J. Jones, F.R.G.S., Pwllheli; H. Hughes, Gellidara; R. Roberts, Tydweiliog; a D. Jones, Tŷ mawr.

---

SYMUDIAD GWEINIDOG.

Y MAE y Parch. Owen Evans wedi symud o Ruthyn i Bolton, yn Sir Lancaster. Yr oedd y frawdoliaeth yn Nghyfarfod Misol Dyffryn Clwyd yn dangos teimlad dwys o herwydd colli brawd mor alluog a chymeradwy o'u mysg, ac yn ei gyflwyno i Gyfarfod Misol Manchester gyda'r dymuniadau gwresocaf am ei gysur a'i lwydd. Ac ar ddarlleniad y llythyr cyflwyniad gan y Cyfarfod Misol crybwylledig, amlygodd amryw o'r brodyr eu llawenydd yn wyneb dyfodiad Mr. Evans i'w mysg; a phenderfynwyd, "Ein bod fel cyfarfod yn rhoddi i'r Parch. Owen Evans y derbyniad mwyaf cynhes, brawdol, a chroesawgar, ac yn dymuno iddo bob cysur a llwyddiant helaeth ar y maes lle y mae yn awr yn llafurio, a thrwy gyfrwng yr hwn y dygwyd ef a ninnau i'r cysylltiad presennol â'n gilydd." Penodwyd y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., a Mr. Edward Roberts, Rhyl, i gynnrychioli Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, yn nghyfarfod sefydliad Mr. Evans yn Bolton; ac enwyd y Parch. W. James, B.A., a Mr. John Davies, o Manchester, i fyned yno hefyd fel cynnrychiolwyr eu Cyfarfod Misol hwythau.

---

HAELIONI.

Y MAE Richard Davies, Ysw., A.S., wedi rhoddi £50 at ystafell ëang yn gysylltiedig â'r capel yn Llanerchymedd. Rhoes y Duc o Westminster £100 tuag at dalu dyled y capel Cymraeg yn Nghaerlleon; ac y mae yr eglwys a'r gynnulleidfa yn y lle wedi tanysgrifio £1800 i'r un perwyl.

---

ANERCHIADAU CYDYMDEIMLADOL.

O GYFARFOD Misol Dyffryn Clwyd, anfonwyd cofion caruaidd a chydymdeimladol at y Parch. Emrys Evans, Dinbych, yn wyneb ei gaethiwo gan afiechyd, ac at y Parch. John Williams, Rhyl, yn wyneb ei golled am ei anwyl wraig, yr hon oedd ferch i'r diweddar Barch. Peter Roberts, Llansannan. Anfonwyd cyffelyb gofion o Gyfarfod Misol Sir Fflint at y Parch. Edward Adams, Cilcen, o dan ei anhwyldeb corfforol, ac at Thomas Peters, Ysw., Celyn, Coedllai, yn ei golled am Mrs. Peters, yr hon oedd chwaer i'r diweddar Mr. Peters, y blaenor enwog yn Nghaerlleon. Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd, hefyd, a ddangosodd gydymdeimlad â'r Parch. Humphrey Williams, Ffestiniog, yr hwn, yntau, sydd wedi colli ei anwyl gymhares. A Chyfarfod Misol Sir Frycheiniog sydd wedi dadgan cydymdeimlad â'r Parch. D. Williams, Pen y cae, a Mr. R. Edwards, Bwlch, sydd ill dau mewn llesgedd corfforol.

---

DARLITHWYR A DARLITHIAU.

NID yw y flwyddyn hon eto yn debyg o beri i Fethodistiaid Cymru ddyoddef prinder mewn darlithio; o herwydd yr ydym yn cael adroddiadau bob wythnos am rywun yn traddodi darlith er mwyn hyrwyddo achos da. Dyma restr a roddwyd yn ein dwylaw: y Parch. O. Thomas, D.D., yn darlithio ar "Henry Rees"—y Parch. D. Lloyd Jones, M.A., ar "Gautama Buddha, sefydlydd crefydd y Chineaid"—y Parch. Ellis Edwards, M.A., Bala, "Taith i Rufain"—y Parch. T. Levi, "Adgofion Ymweliad â Rufain"—y Parch. J. Jones, F.R.G.S., Pwllheli, ar "David Jones, Treborth"—y Parch. O. T. Williams, Dolgellau, ar "Garfield"—y Parch. Thomas Evans, Merthyr, darlith ar "Garfield," a darlith ar "Spurgeon"—y Parch. W. O. Williams, F.R.A.S., Liverpool, "Serydd-

iaeth"—y Parch. Hugh Roberts, yn awr o Wrexham, "Cassia"—y Parch. O. Jones, M.A., o'r Drefnewydd, "Yr Ymenydd"—a'r Parch. O. Jones, Gelli, darlithiau ar "Gladstone" ac ar "Gwestiwn y Tir."

---

TYDDEWI.

Mae yr eglwys barchus yn y lle hwn wedi rhoddi galwad i'r Parch. William Jenkins, M.A., Aberafon, i ddyfod i'w bugeilio, ac y mae yntau wedi cydsynio â'u cais. Bydd yn symud i Dŷddewi yn nechre mis Ebrill. Colled fawr yn ddiau a gaiff Aberafon, ond bydd yn ennill pwysig i'r achos yn ninas Dewi Sant, a chaffaeliad nid bychan i Sir Benfro.

---

CYNWYL.

Mae y capel yma yn myned dan adnewyddiad hollol oddifewn, dan draul o tua phum' cant o bunnau. Dysgwylir ei ail agor yn y gwanwyn neu yn gynnar yr haf, ac yn ddiddyled. Mae un yn rhoddi £200, ac un arall £100, a'r gweddill yn cael ei gyfranu yn galonog gan y lliaws. Mae gan y frawdoliaeth yn Nghynwyl feddwl a chalon i weithio.

---

LLANEURWG.

Mae yr eglwys yn y lle hwn wedi colli un o'i haelodau hynaf, os nad yr hynaf oll, ac un o'i haddurniadau penaf, sef Mrs. Roberts, Mill Farm, yr hon a fu farw mewn gorfoledd am 2 o'r gloch bore dydd Sadwrn, yr 28ain o Ionawr diweddaf, yn ymyl 86 oed. Ychydig cyn ymadael canodd,

"O fy enaid, cod dy olwg,
Gwel yn amlwg ben y bryn," &c.

Ac awgrymodd hefyd wrth ei dwy ferch, Mrs. Evans a Mrs. Howell, fod eu tad wedi dyfod i'w chwrdd a'i chroesawu i'r trigfanau nefol. Yr oedd Mrs. Roberts yn esiampl nodedig o foneddiges gristionogol, yn hardd o ran pryd a gwedd, yn garuaidd a charedig iawn ei ffordd, yn dduwiolfrydig iawn ei hysbryd, yn hynod ffyddlawn dros ei hoes i achos yr Iesu, a'i chartref bob amser yn agored i roddi croesaw cynhes i'w weision ef. Claddwyd ei gweddillion y dydd Iau canlynol yn mynwent y capel, pryd y pregethodd y Parch. D. Saunders, ac y gweinyddwyd hefyd gan y Parchn. D. Edwards, Casnewydd, a David James; a daeth tyrfa lïosog ynghyd i amlygu eu parch i goffadwriaeth yr ymadawedig, a'u cydymdeimlad â'r rhai sydd mewn galar.

---

PETH NEWYDD YN LIVERPOOL.

Y mae amryw o chwïorydd gweithgar o eglwys Princes' Road wedi sefydlu "*Mothers' Meeting*" Cymraeg yn yr ystafell Genadol, yn Yates Street. Y mae hwn yn sefydliad cyffredin ymysg y Saeson; ond dyma y cyntaf a'r unig un Cymreig yn y ddinas. Cynnaliwyd y cyfarfod cyntaf ar yr 22ain o Mawrth, 1881, pryd yr oedd y Parch. O. Thomas, D.D., yn anerch lliaws o'r mamau Cymreig tlodion. Cynnelir y cyfarfod yn wythnosol o dan arolygiaeth Miss Roberts, Hope St.; Miss Williams, Fern Mount; Miss Kate Lewis, Hope Street; Miss Williams, a Miss Martha Williams, Moss Bank; Miss Thomas, Catherine Street; Mrs. Morris, Dingle Hill; a Mrs. Davies, Peel Street; a chynnorthwyir hwy yn achlysurol gan lïaws o foneddigesau eraill. Y mae dros gant o wragedd Cymreig tlodion yn perthyn i'r *Mothers' Meeting*, ac y mae o hanner cant i driugain yn bresennol ymhob cyfarfod, pryd y dysgir hwynt i wnïo, gwau, &c.; ac ar ol hyny bydd gweinidog neu ddau, neu un o'r chwïorydd eu hunain, yn darllen ac yn gweddïo, ac yn rhoddi anerchiad gwresog iddynt. Y mae rhai o'r cymeriadau isaf yn mynychu y cyfarfodydd hyn, ac y mae y cyfarfod eisoes wedi gwneuthur daioni mawr iddynt. Nos Fercher, y dydd cyntaf o Chwefror, anrhegwyd Cyfarfod y Mamau â *tea party* gan y boneddwr ieuanc haelionus, C. H. Elias, Ysw., yr hwn a gynnaliwyd yn Ebenezer Hall. Yr oedd y gwragedd a'u gwŷr yn cael tê; ac nid yn fynych os erioed y cawsant y fath wledd. Cynnaliwyd cyfarfod ar ol o dan lywyddiaeth y Parch Dr. O. Thomas, pryd yr anerchwyd y cyfarfod gan C. H. Elias, Ysw., y Parchn. O. Thomas, D.D., H. Jones, J. Thomas, B.A., a R. C. Owen, y cenadwr. Ychwanegwyd yn fawr at ddyddordeb y cyfarfod trwy i ddau gôr o gapel David Street, ganu amryw ddarnau yn rhagorol. Cynnygiwyd a chefnogwyd diolchgarwch i'r Llywydd, i C. H. Elias, Ysw., am ei haelioni, i'r boneddigesau am eu gwasanaeth gwerthfawr, ac i'r corau, gan Mri. D. Davies a R. C. Owen, yr hyn a basiwyd gyda brwdfrydedd mawr; a therfynwyd cyfarfod hynod o ddifyrus ac adeiladol, a phawb wedi ei boddhau yn fawr, ac yn gobeithio cael mwynhâu ei gyffelyb cyn pen hir eto.—*R. C. O.*

---

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

JOHN JONES, YSW., YNYSGAIN.

*Gan y Parch.* J. JONES, *Pencaenewydd.*

Mae ydoedd Mr. Jones i Mr. Robert Jones, Ynysgain, Criccieth, Sir Gaernarfon, yr hwn a symudodd, pan briododd, i'r Plas Uchaf, Talsarnau, yn Sir Feirionydd. Yno y ganwyd gwrthddrych y cofiant hwn, Ionawr 5, 1803.

Yr oedd ei rieni yn aelodau yn yr Eglwys Sefydledig, ac yno y dygwyd yntau i fyny o'i

febyd. Ond arferai pan yn fachgen fyned i Ysgol Sabbothol a gynnelid gan y Methodistiaid yn Nhalsarnau. Ymddengys iddo beidio myned yno am gyfnod. Ceir nodiad o'i eiddo ef ei hun fel y canlyn:

"Mawrth 8, 1829. Aethum y bore hwn i'r Ysgol Sabbothol am y tro cyntaf er ys amryw flynyddoedd."

O hyny allan efe a barhäodd yn aelod ffyddlawn a gweithgar ynddi hyd ddiwedd ei oes. Wedi ychydig o fisoedd, dewiswyd ef i fod yn Ysgrifenydd i'r Ysgol. Gyda golwg ar hyn, efe a ysgrifena:

"Tachwedd 8. Dywedwyd wrthyf heddyw ddarfod penderfynu yn y Cyfarfod Athrawon, nos Iau, i mi fod yn Ymwelwr ac yn Ysgrifenydd i'r Ysgol Sabbothol. Yr wyf yn canfod fy anallu i gyflawni y swyddau. Hefyd, tra byddwyf yn derbyn y Sacrament yn y Llan, nis gallaf fod yn yr Ysgol bob Sul, megys y dylai yr hwn sydd yn y swyddau uchod fod."

Gwelwn yma ei fod yn aelod yn y Llan; yno yn cymuno, a'i fod yn ystyried fod i swydd ei chyfrifoldeb.

Arferai Mr. Jones gofnodi helyntion ei fywyd, ac yn neillduol ei brofiadau crefyddol, yn fwyaf cyffredin unwaith yn yr wythnos, ac weithiau yn amlach, o Ionawr 16, 1829, hyd Mehefin 18, 1873. Geilw y llyfr, "*Fy Nyddiadur.*" Ceir yn y Dyddiadur hwn gyflawnder o ddefnyddiau at gael ei hanes crefyddol yn ei holl agweddau—ei ofnau a'i gysuron, i lawr ac i fyny, fel y dygwyddai fod, penderfyniadau a gweddïau taerion am nerth i'w cyflawni, ac am gyfarwyddyd ymhob amgylchiad. Ceir hefyd lawer o sylwadau ar ansawdd crefydd yn yr eglwys y perthynai iddi, eglwysi y wlad, yr Ysgol Sabbothol, a nodiadau ar bregethau, am frodyr a chwïorydd ymadawedig, a hyny am dros bedair blynedd a deugain. Chwith ydyw gweled, wrth nesu at ddiwedd y nodiadau, fod y llaw a fu mor ddiwyd wedi myned i grynu, a hyny i'r fath raddau yn y diweddaf o honynt fel nas gellir darllen yr ysgrifen. Er y buasai yn werth dwyn llawer o'r cofnodion hyn i sylw, eto ni bydd i ni ddyfynu ond ychydig o honynt, y rhai a eglurant brif symudiadau ei fywyd.

Dechreuodd Mr. Jones roddi hanes ei brofiadau crefyddol yn y dyddiadur cyn ymuno â'r Methodistiaid; a rhydd ar ddeall ei fod yn arfer myned i'r capel i wrando pregethau. Bu yn Nghymdeithasfa Pwllheli yn y flwyddyn 1829. Dyma ran o'i nodiadau:

"Bum yr wythnos ddiweddaf yn Nghymanfa Pwllheli. Yr oedd arnaf ofn yn y dechre, wrth ystyried fy ngwendid, rhag i Satan gael mantais i arwain fy meddwl oddiar y gwirionedd a glywid. Cefais hamdden gwell nag a ddysgwyliais, ond yr oedd fy meddyliau yn fwy ar led y nos."

Rhydd grynodeb cyflawn a destlus o bregethau y Parchedigion Morgan Howells, Jenkin Davies, a John Elias, y rhai oeddynt yn pregethu yn Mhwllheli ar y pryd.

Wrth ddarllen y dyddiadur ymlaen, gwelir fod brwydr yn ei feddwl ynghylch ymuno â'r Methodistiaid. Ysgrifena,—

"Rhagfyr 6. Bum yn meddwl llawer yn ddiweddar fod yn ddyledswydd arnaf ymuno mewn eglwys, neu â rhai fyddo yn uno i broffesu Duw yn gyhoedd, ac i ymadael â'r Llan; canys nid oes yno drefn gan y rhai sydd yn teimlo am fater eu henaid i ymgynnull er hyfforddi ac adeiladu eu gilydd. Yr wyf hefyd yn ofni fod rhai yn derbyn yr ordinhâd sydd yn eglur yn rhodio yn ol y cnawd."

O'r diwedd, efe a orchfygodd yr anhawsder a deimlai i roddi y meddwl hwn mewn gweithrediad, ac ysgrifenai,

"Mawrth 31, 1830. Yr hyn ydoedd yn gwasgu ar fy meddwl er ys amser maith ydoedd yr ystyriaeth sobr oddiar Air Duw ei bod yn ddyledswydd arnaf, ac yn fraint i mi, ymddangos yn fwy amlwg, ac ymostwng i uno yn fwy uniongyrchol â phobl Dduw, yr hyn a wnaethum, trwy drugaredd Duw, y nos ddiweddaf."

Wedi hyn dechreuodd addoli Duw yn y teulu hwyr a bore. Teimlai fod dechre gyda'r gwaith hwn yn anhawdd; ond wedi dechre, efe a barhäodd hyd y diwedd. Mai 13, 1834, dewiswyd ef yn ddiacon yn eglwys Talsarnau; ac efe a gofnoda y cynghorion a roed iddo, ac adduneda wneyd ei oreu trwy nerth gras Duw i'w cadw.

Priododd yn y flwyddyn 1837 gyda Jane, ail ferch Mr. Edmund Roberts, Ucheldref, Caergybi. Yr oedd hi yn wraig ragorol a gwir grefyddol. Ymgymerai â chadw yr addoliad teuluaidd yn y gegin fawr gyda'r gweinidogion pan fyddai Mr. Jones oddicartref. Bu farw, ar ol hir gystudd, yn y flwyddyn 1849. Bu iddynt bump o blant o'r briodas hon, o ba rai y mae pedwar yn awr yn fyw.

Yn mis Tachwedd, 1840, symudodd Mr. Jones o'r Plas Uchaf i'r Ynysgain, lle oedd yn meddiant ei hynafiaid er y flwyddyn 1630. Wedi symud yno, dewiswyd ef eto yn swyddog yn eglwys Criccieth, yr hon ar y pryd, fel y sylwa ef ei hun, oedd â'i "phethau allan o drefn, a'r fyddin yn fechan." Yma y parhaodd i weithio hyd ddiwedd ei oes.

Yn y flwyddyn 1851, priododd yr ail waith gyda Louisa, merch Mr. Kensington, o Ynys Tobago, yr hon sydd yn awr yn fyw. Gwnaed ef yn Ynad yr Heddwch dros Sir Gaernarfon yn y flwyddyn 1859, a thros Sir Feirionydd yn 1862. Dywedir ei fod yn ynad deallus a chydwybodol. Yr oedd yn teimlo ei fod yn gyfrifol yn y swydd hon, nid yn unig i lys Prydain, ond i lys uwch. Cyfrifai ei fod yn ymrwymo i Dduw drwy y llw a gymerodd. Cyn ei ddyfodiad i Griccieth, yr oedd *gallery* wedi ei chodi ar yr hen gapel. Yn y flwyddyn 1857 talwyd yr holl ddyled, gyda gweddill mewn llaw, pryd y rhoddwyd swm cyfartal ganddo ef i'r oll a roddwyd gan bawb eraill. Yn y flwyddyn 1868, tynwyd yr hen gapel i lawr, a chyfodwyd un newydd, am y draul o gylch £650. Casglwyd at ddileu y ddyled yn y blynyddoedd 1864 a 1869; ac yn y ddau amgylchiad yma eto cyfranai yntau yr hanner, sef swm cyfartal i'r oll a gasglwyd gan eraill.

Yr oedd efe, ynghylch tair blynedd cyn ei farwolaeth, wedi ei wanychu yn fawr trwy gael ei daro yn ysgafn gan y parlys; ond par-

häai i ddyfod i'r capel yn gyson hyd o fewn wythnos cyn ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le Tachwedd 30, 1875, yn 72 mlwydd oed.

Gallwn ddyweyd fod yn Mr. Jones ragoriaethau a diffygion, y naill a'r llall yn dra amlwg. Peth anfoneddigaidd yw cyfeirio llawer at ddiffygion brodyr ymadawedig—rhai wedi myned allan o gyrhaedd cyfle i'w hamddiffyn eu hunain; ond gellir gwneyd hyny yn hyf gyda gwrthddrych y cofiant hwn, am fod digonedd o brofion yn ei ddyddiadur nad oedd neb a wyddai yn well, os cystal, am ei ddiffygion ag a wyddai ef ei hun, ac yn enwedig ei barodrwydd i golli y llywodraeth ar ei dymherau. Addunedai yn fynych fod yn fwy gwyliadwrus yn hyn; gweddïodd lawer am faddeuant am iddo "roddi y rhaff i'w dueddiadau balch," ac am ras i ymddwyn yn fwy addfwyn o hyny allan. Ond, fel y gŵyr ei hen gydnabod yn dda, pan y dygwyddai gyffroi yn ei dymher, lleddfai yn fuan iawn, ac adfeddiannai ys bryd addfwyn a llonydd. Gwyddai pawb hefyd ei fod yn hollol ddiddichell; dywedai ei feddwl fel y byddai *yn* meddwl, ac ni byddai raid i neb ofni fod ganddo feddwl arall yn llechu yn ei fynwes. Pa beth bynag am ei ddiffygion, y mae yn rhaid addef mai diffygion dyn da a duwiol oeddynt; a phrin fe allai y buasai neb yn sylwi arnynt oni buasai am ei amlygrwydd ef fel cristion ac fel boneddwr. Yr oedd yn ddarllenwr cyson ar y Bibl, ac yn ei ddeall, yn enwedig yn yr ystyr uchaf, sef fel llyfr i bechadur. Daliodd lawer o sylw arno ei hun yn ei wyneb, megys mewn drych; cymerai ef fel ei gynghorwr a'i hyfrydwch; a chydnabyddai yn wastad fod Gair Duw yn allu i'r dybenion hyny, yn unig drwy weithrediad yr Ysbryd Glân; ac am hyny gweddïai yn barhâus am i'r Ysbryd gymhwyso y gwirionedd at ei feddwl ef ei hun, ac at feddyliau pobl eraill. Darllenai lawer ar lyfrau eraill hefyd, megys gweithoedd Dr. Owen, Jonathan Edwards, Chalmers, &c. Ysgrifenodd lawer hefyd o gofnodion o bregethau, a sylwadau yn y Cymdeithasfäoedd a'r Cyfarfodydd Misol—sylwadau o'i eiddo ei hun ar adnodau ac athrawiaethau y Bibl, &c., yr hyn a brawf fod gwirioneddau crefydd yn cael lle pwysig yn ei feddwl yn barhâus. Dilynodd bob moddion o ras gyda ffyddlondeb arbenig, darparai ar gyfer cyfarfodydd eglwysig, ac arweiniai hwy gyda gofal a medrusrwydd. Ni bu neb ffyddlonach nag efe am ymweled â'r cleifion, a hyny er pan oedd yn ieuanc; darllenai iddynt ranau o Air Duw, gan wneyd sylwadau arnynt wrth fyned ymlaen, ac yna gweddïai drostynt. Ysgrifena Mr. Owen Hughes, yr hwn a fu yn gydswyddog â Mr. Jones am flynyddoedd,—

"Byddai yn wir ofalus am y cleifion; nid myned thyw unwaith neu ddwy i edrych am danynt a wnai, ond hyd y diwedd. Gallwn nodi un amgylchiad lle bu y wraig yn wael am o ddeg ddeuddeng mlynedd yn methu dyfod i'r moddion; ac eithriad ydoedd os pasiodd un wythnos heb iddo ef fyned ati i ddarllen a gweddïo."

Gweddïodd lawer ar hyd y blynyddoedd, drosto ei hun, dros ei blant, a thros yr eglwys. Hawdd oedd canfod pan fyddai yn gweddïo yn gyhoeddus ei fod yn gyfarwydd iawn â gweddio. Rhoddwn yma ranau o lythyr y Parchedig Robert Williams, Llanuwchllyn, yr hwn oedd yn dra chydnabyddus âg ef,—

"Mi a hoffwn yn fawr weled coffadwriaeth parchus am fy hen gyfaill, y diweddar Mr. Jones, yn y DRYSORFA. . . . . Daethum i gydnabyddiaeth âg ef yn lled fuan wedi iddo gychwyn ei daith grefyddol. Efe a gafodd ei alw trwy ras yn mlodau ei ddyddiau i wasgta ynghylch 'beth i'w wneyd i fod yn gadwedig,' ac i droi cefn ar wagedd mebyd ac ieuenctyd, a rhoddi ei wddf dan iau Crist yn eglwys y Methodistiaid yn Nhalsarnau, a cheisio ei fywyd yn haeddiant yr Arglwydd Iesu. Yr ydwyf yn credu ei fod yn teimlo pethau cryfion iawn yn nechreuad ei grefydd; yr oedd crefydd yn fater bywyd ganddo. Yr oedd yn meddu syniadau eglur iawn am drefn iachawdwriaeth, yn ei gwerthfawrogi yn fawr am ei bod yn gwbl o ras, a'i bod yn drefn gadarn, ac hefyd yr unig drefn sydd yn cynnyrchu ufudd-dod sancteiddiol a duwiol. . . . . Yr ydoedd golwg brydferth iawn arno—yn ŵr ieuanc boneddigaidd, yn byw y pryd hyny gyda'i dad a'i fam yn y Plas Uchaf. Bum yn cysgu nosweithiau yno pan yn dyfod i'r daith Sabboth; a'r argraff a roddai ar fy meddwl oedd ei fod o ddifrif gyda chrefydd yn ei holl gylchoedd. Yr ydoedd yn weddiwr mawr yn y dirgel. Yr ydwyf yn cofio fy mod yn y Cyfarfod Misol yn Nhalsarnau pan y derbyniwyd ef i fod yn swyddog yn yr eglwys. Yr oeddwn i a brawd arall wedi myned y nos gyntaf i gysgu i Plas Uchaf. Wedi myned i'r gwely, clywem sŵn llais oddiallan i'r tŷ; codasom i'r ffenestr; a beth oedd yno ond Mr. Jones ar ei liniau yn y coed yn gweddïo yn daer am lwyddiant ar y Cyfarfod Misol! Yr ydoedd yn ffieiddio rhagrith a thwyll, yn zelog gyda'r Ysgol Sabbothol, yn gyson gyda'r addoliad teuluaidd, yn dwyn mawr zel dros ddysgyblaeth eglwysig, a'i bod i'w gweinyddu yn ol Gair Duw a rheolau y Cyfundeb."

Dyfynwn ran o lythyr Mr. Richard Jones Prichard, Tŷnewydd, yr hwn oedd yn dra chydnabyddus â Mr. Jones, ac hefyd yn gâr iddo,—

"Yr oedd Mr. Jones yn hoff o ymddyddan am bethau crefyddol; adnod neu bennill fyddwn yn ei glywed ganddo yn fynych. Hawdd fyddai ganddo son am bethau crefyddol pan gyfarfyddai â rhai ar y ffordd. Cof genyf glywed un heb fod yn proffesu crefydd yn adrodd wrthyf ei fod yn dygwydd trwsio hen glawdd pan oedd Mr. Jones yn myned heibio, ac iddo ofyn, 'Beth yr wyt ti yn ei wneyd?' 'Trwsio y clawdd yma, syr,' oedd yr ateb. Gofynai yntau drachefn, 'A oes genyt ti ddim crefydd eisieu ei thrwsio?" Effeithiodd y cwestiwn er daioni; daeth y dyn i ystyried nad oedd ganddo grefydd o fath yn y byd, a bu hyny yn symbyliad i'w feddwl, fel y daeth cyn hir i ymofyn am grefydd; ac y mae yn parhâu yn aelod ffyddlawn a defnyddiol hyd y dydd hwn."

Yn awr, gadawn y gŵr da hwn i orphwyso yn dawel yn ei fedd hyd ganiad yr udgorn diweddaf, gan ddymuno ar i eglwysi ein gwlad gael eu bendithio â llawer o ddynion o gyffelyb feddwl ac ymroddiad âg ydoedd Mr. Jones.

# Amrywiaethau.

GWYBOD Y PETH SYDD EISIEU.

Yn Nghofiant y Parch. H. Venn Elliott, dywedir y byddai yn wastad yn ymholi am rywbeth neu gilydd, ac yn cadw'r wybodaeth a ennillid ganddo yn ystorfa ei gôf, i'w dwyn allan yn ol y rhaid a'r galwad. Arferai yn fynych adrodd yr hanesyn canlynol am dano ei hun yn ei ddyddiau boreuol. Yr oedd efe yn myned ar y cerbyd o Gaerbaddon i Frysto', gan eistedd ar y blaen yn ymyl y cerbydwr. Fel arferol, yr oedd yn gofyn i'r gyrwr,—"Pa le yw hwna?—I bwy y mae yr ystâd hon yn perthyn?—Beth yw enw y pentref draw?" ac felly ymlaen. Ac i'r holl gyfryw gwestiynau yr unrhyw ateb oedd, "Nis gwn i." Yr oedd Mr. Elliott yn teimlo yn siomedig wrth fod fel hyn gyda dyn oedd, fel y tybiai efe, heb lygad na chalon ganddo; ac efe a ofynodd iddo braidd yn wawdus, "A ydych chwi yn gwybod rhywbeth?" Y cerbydwr yn y modd arafaf a thawelaf a'i hatebodd, "Ydwyf, syr; yr wyf yn gwybod pa fodd i'ch gyru chwi o Bath i Bristol."

Y DDAU DDYN ODDIMEWN.

Yr oedd unwaith Indiad oedranus yn gofyn i ddyn gwŷn am ychydig ddybaco i'w ddodi yn ei bibell; a hwnw a roddodd iddo ddyrnaid yn rhydd o'i logell. Y diwrnod canlynol efe a ddaeth yn ol, ac a ofynodd am y dyn gwŷn; "o herwydd," ebe efe, "mi a gefais chwarter dolar o arian o fewn i'r tybaco." "Paham na buasech yn ei gadw?" medd un o'r rhai oedd gerllaw. "Mae genyf ddyn da a dyn drwg yma," atebai yr Indiad, gan bwyntio at ei fynwes; "ac yr oedd y dyn da yn dyweyd, 'Nid tydi a'i pïau; dyro yr arian yn ol i'r perchen.' Yr oedd y dyn drwg yn dyweyd, 'Na ofala; dyma di wedi ei gael, a'r eiddot ti ydyw bellach.' 'Na, na,' ebe'r dyn da; 'ni wiw i ti ei gadw.' Felly nid oeddwn yn gwybod beth i'w wneyd, a meddyliais am gysgu; ond yr oedd y dyn da a'r dyn drwg yn dal i siarad drwy'r nos, ac yn fy nghadw yn effro; ac yn awr, wrth ddyfod â'r arian yn ol, yr wyf yn teimlo yn gysurus." Megys yr oedd gyda'r hen Indiad hwnw, y mae genym oll ddyn da a dyn drwg o'n mewn. Y dyn drwg yw Temtasiwn, a'r dyn da yw Cydwybod; ac y maent yn dal i siarad dros ac yn erbyn llawer o bethau y byddwn yn eu gwneyd bob dydd. Pwy sydd yn curo? I fyny â'r teimlad o ddyledswydd, ac i lawr â'r duedd i bechu! Byth, byth, nac ildiwch i demtasiwn.

YMRESYMU ANATEBADWY.

Yr oedd esgob yn holi ymgeisydd am urddau eglwysig, pa un oedd yn llawer prinach mewn duwinyddiaeth nag yr oedd mewn ymenydd. Ymysg cwestiynau eraill, gofynodd yr esgob iddo, "Pe dygwyddai i chwi fod gyda phersonau yn gwadu athrawiaeth y Drindod Sanctaidd, pa fodd yr amddiffynech chwi yr athrawiaeth?" A'r ateb oedd, "Fy arglwydd, nis gallaf lai na theimlo am eich bod yn tybied yn bosibl i mi fod yn nghymdeithas y cyfryw bersonau." "Ond," medd yr esgob, "pe byddai i chwi ar ddamwain gael eich hun yn nghwmni Undodiaid, ac iddynt hwy ymosod arnoch, pa fodd y dadleuech yn eu herbyn?" "A ellwch chwi, fy arglwydd, ammheu beth a wnawn?" ebe yntau. "Wrth gwrs, mi awn ymaith o'r ystafell yn ddioedi."

Y NEWYNYDD YN NEWYNU.

Newynodd un Sylvester Smith, Alps, New York, un o'i ychain i farwolaeth, o herwydd iddo gornio yn farwol un o'i ychain eraill. Bu yr anifail saith wythnos yn newynu. Ar ol ei farwolaeth, cymerwyd Mr. Smith yn glaf gan afiechyd sydd yn ei rwystro i gymeryd ymborth; ac y mae yn newynu yn araf.—*Y Cyfaill* (Ionawr 1882).

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG MAWPHLANG, RHAGFYR 22AIN, 1881.

Wythnos i ddydd Sadwrn diweddaf aethum i Nongrymai gyda Mr. John Jones, gan fod yno gyfarfod pregethu ar y Sabboth. Ond tuag un ar ddeg nos Sadwrn, dyma ddau genad gyda llythyr o Cherra, fod geneth fach Mr. Roberts yn beryglus glaf. Felly bu raid trefnu ar unwaith i mi droi yn ol am Mawphlang drannoeth. Pregethais unwaith boreu Sabboth, gan adael rhwng Mr. Jones a'r cyfarfodydd eraill. Yr oedd yn dda iawn genyf weled cymaint wedi dyfod ynghyd. Yr oedd mwy yn bresennol o gryn dipyn nag a fyddai yn y cyfarfodydd undebol ddwy flynedd yn ol pan oeddwn i yno yn adeg yr afiechyd. Yn awr yr oedd rhai paganiaid wedi dyfod i'r capel, ond y pryd hyny yr oedd yn anhawdd iawn eu cael ond i gymeryd meddyginiaeth. Ni welais gymaint o wahaniaeth yn un man mewn gwrandaw. Creaduriaid gwledig, anwybodus a swrth fyddai yn Khadsawphra, a neb ond yr anwyl Kypa U Moit yn gwrandaw dim yn y moddion crefyddol. Ond y tro hwn nid wyf yn meddwl i mi weled *un* yn cysgu, ond pawb yn gwrandaw ac yn ymddangos yn cymeryd yr hyn a ddywedid i fewn. Mae gwahaniaeth mawr iawn mewn cael y Khassiaid yn "wrandäwyr," a'u cael i *wrandaw* mewn gwirionedd; wedi eu cael i wneyd yr olaf, y mae gobaith eu cael yn "wneuthurwyr" y gair hefyd. Da iawn oedd genyf weled y Brenin yn y gynnulleidfa. Y mae yn cael llawer iawn o helbul oblegid ei fod yn Gristion, ond y mae yn ymddangos yn gadarn ac yn zelog. Ar ol yr oedfa hon bu raid i mi gychwyn am Mawphlang, a chyrhaeddais yma pan oedd yn dechreu tywyllu. Boreu Llun cychwynais i Cherra, a chefais eneth fach Mr. Roberts yn bur wael—yn beryglus wael.

Yna adrodda y cenadwr am daith siomedig a gafodd i Shella.

Rhagfyr 28ain, 1881. Methais a gorphen fy llythyr erbyn *mail* yr wythnos ddiweddaf. Er y pryd hyny yr wyf wedi

bod yn Nongrymai yr ail waith. Cyrhaeddodd cenadwri yma boreu Sabboth diweddaf, pan oeddwn yn cychwyn i'r moddion, fod baban Mr. Hughes yn beryglus glaf, ac aethum yno ar unwaith, ac yn wir, yr oedd yn wael iawn. Cyrhaeddais yn ol ddydd Llun. Ar fy ffordd yn ol gelwais gyda'r Brenin, a chefais ymgom gydag ef am hanner awr. Y mae yn ymddangos fod ei ddeiliaid yn myned waeth waeth yn eu gwrthwynebiad iddo. Os bydd y Llywodraeth yn ei ddiorseddu, ac yn gosod un arall yn ei le, ni fydd yn ddichon i'r Cristionogion a byw o dan hwnw, oblegid y maent yn sicr o gael eu gorthrymu yn enbyd. Os byddys yn rhoddi brenin arall, yr wyf yn gobeithio yn fawr y rhenir y deyrnas, ac y rhoddir y pentrefi lle y mae mwyaf o Gristionogion o dan lywodraeth y Brenin presennol. Y mae yn wir wrthddrych cydymdeimlad â gweddïau ei frodyr yna ac yma.

Yr ydym yn ddiweddar wedi cael tipyn o dywydd croes yn ein heglwys fechan yn Mawphlang, trwy i amryw o'r Cristionogion syrthio a gwrthgilio yma ac yn Mawreng, rhai trwy dori y Sabboth, eraill trwy briodi rhai o'r byd, eraill trwy dori wyau. Yr wyf yn arwain y cyfeillion oreu y gallaf, gyda derbyn rhai i'r eglwys, i fod yn wyliadwrus, ond y mae yr elyniaeth o'r tu allan mor gryf fel mor fuan ag y daw un i'r eglwys fod pob ystryw yn cael ei ddefnyddio i beri iddo neu iddi gwympo. Yn mhentref Mawphlang y mae cwmni wedi ei ffurfio sydd wedi ymdynghedu i gwympo y merched Cristionogol trwy drais. Yr oeddynt wedi pigo allan yr athrawes i ddechreu gyda hi, a gorfu arnom ei hanfon i bentref arall llai ystrywgar; ac ni faidd y genethod sydd yma fyned o gwbl i'r pentref, na'r rhai sydd yn byw yn y pentref fyned allan o'u tai wedi iddi ddechreu tywyllu. Clywais lawer o bregethu adref, a bum yn gwneyd hyny fy hunan, ar iselder y natur ddynol oblegid pechod, ond ni wybum y ddegfed ran o hono nes dyfod yma ac adnabod tipyn ar y bobl. Ond dywed y Cristionogion wrthyf eto, "Nid ydych chwi, y Cenadon, yn gwybod y ddegfed ran pa mor lygredig ydyw y Cassiaid; nyni, y Cassiaid, sydd yn adnabod ein gilydd." Byddaf yn aml yn teimlo yn bur ddigalon wrth weled y gwrthwynebiadau sydd i achos crefydd, a'r trwch mawr o lygredd a chaledrwydd sydd rhyngof a chyrhaedd calonau y bobl, ond bydd arnaf ofn gadael i fy meddwl fyned ymhell y ffordd yna, rhag ofn myned i deimlo neu wneyd fel y "gwas cyflog." Yr wyf yn ddiweddar wedi cael pleser mawr yn darllen hanes teithiau a helbulon Paul, ac y mae hyny yn help i godi fy nghalon. Nid yw fy helbulon a fy mhryder yn ddim o'u cymharu â'r hyn a gafodd Paul. Wrth gwrs, nid wyf yn ysgrifenu yr uchod gydag un bwriad i chwi eu cyhoeddi, ond yr wyf yn gwybod fod yn dda genych glywed am bob ochr i'n profiad yma, a bydd yn gymhorth i chwi ddeall mai *intrusion* ydyw yr efengyl yma fel mewn lleoedd eraill. Yr oedd y weledigaeth yn Troas a gafodd Paul yn cynnrychioli *anghen* Macedonia, ac nid *teimlad* Macedonia o'i hanghen, oblegid nid croesaw a gafodd Paul ond carchar a fflangellau â chyffion, er i'r gŵr yn y weledigaeth ei wahodd i'w wlad. Felly yn Khasia; y mae yma *anghen*, ond nid *teimlad o anghen*, iachawdwriaeth. Y mae yma addfedrwydd, ond addfedrwydd *cyflwr* ac nid addfedrwydd *meddwl* ydyw.

Yr oedd yn dda iawn genyf ddeall wrth eich llythyr fod Mr. Thomas Lewis yn *dyfod* mewn gwirionedd; caiff groesaw calon gan bawb, yn Genadon a brodorion. Yr ydym yn edrych ymlaen gyda phleser at Henaduriaeth Shella, pan y cawn oll fod gydag ef mewn Sasiwn Khasiaidd. Y mae yn dda genyf fod gŵr mor brofiadol, a rhyw gymaint o hwnw yn brofiad o'r cymeriad Dwyreiniol, yn dyfod i'n plith.

---

RHANAU O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. J. JONES, DYDDIEDIG IONAWR 2, 1882.

"DYCHWELASOM yn ol o Mawphlang ar yr 20fed o'r mis diweddaf. Yr oedd yn dda genym weled yr achos yno yn llwyddo, er yn araf, ac fod llafur Dr. a Mrs. Griffiths yn cael ei goroni â gradd o lwyddiant, er yr holl anhawsderau sydd ar y ffordd. Pentref caled iawn yw Mawphlang. Da iawn oedd genyf weled y gynnulleidfa yn fwy sefydlog. Pan y buom yno o'r blaen, dyeithriaid a dyfodiaid oedd rhan fawr o'r gynnulleidfa; ond erbyn hyn y mae yno gynnulleidfa daclus o bobl Mawphlang ei hun."

Crybwylla Mr. Jones hefyd am y cyfarfod yr aethai ef a Dr. Griffiths iddo yn Nongrymai. "Daeth," meddai, "cynnulleidfa o tua 250 ynghyd. Yr oedd y cyfeillion yn Mairang, Mawnai, Nongthymai, &c., wedi rhoddi i fyny eu gwasanaeth am y Sabboth er mwyn dyfod i Nongrymai i'r ŵyl. Pregethodd Dr. Griffiths y boreu. Boreu ddydd Llun aethum gyda Mr. Hughes i Nongthymai, lle yr oedd cynnulleidfa o tua 70 yn ein haros, a chefais y fraint o bregethu iddynt. Wedi hyny aethom i farchnad Maroit, a chyfarchasom hwy ein dau, a chanwyd amryw o bennillion. Yr oedd nifer lled dda o'r Cristionogion wedi dyfod i ddangos eu hoehr ac i helpio y canu, a

daeth llawer o'r marchnatäwyr i wrando. Yr oedd y ddiod gadarn mewn lle amlwg yno, fel yn eu holl farchnadoedd. Y mae gan y duw Bacchus lawer iawn o ganlynwyr ac addolwyr yn y wlad hon. Y mae yn rhyfedd y dylanwad sydd ganddo ar bobl! Gwlad fywyddig a phrydferth yw Khadsawphra. Ni thybiais erioed fod y boblogaeth mor fechan, a'r pentrefi mor wasgarog. Yr oedd yn dda genyf weled y brenin mor galonog a sefydlog yn y ffydd. With gwrs y mae y rhan fwyaf o'i ddeiliaid yn ddig iawn wrtho am iddo gofleidio Cristionogaeth; a'r tebygrwydd yw y bydd iddynt geisio cymeryd y freniniaeth oddiarno. Gras a gaffo yn gymhorth cyfamserol.

"Heddyw yr oedd genym gyfarfodydd i ddiolch am y cynauaf, ac i ymostwng o flaen Duw mewn gweddi. Yr oeddynt yn lled lïosog, a rhyw deimlad hyfryd ynddynt. Casglwyd £1 11s. ynddynt."

---

## DOSBARTH SHANGPOONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS, DYDDIEDIG RHAGFYR 8FED, 1881.

YR wythnos ddiweddaf yn Tachwedd bûm ar daith fechan yn Iangkiat, Wmsalait, Mawlyber, &c.; ac yr wyf yn credu fy mod i fy hun, yn gystal a rhai o'r bobl yr ymwelais â hwy, wedi cael pleser a lleshâd. Daeth dau o'r Cristionogion hynaf sydd yma gyda mi; ac yr oedd hyny, yn sicr, yn gwneyd y daith yn llawer mwy pleserus i mi, ac, yn ddiammheu, yn llawer mwy buddiol i bobl y pentrefi y buom ynddynt. Un o'r hen bobl oedd U Tymmen Don, yr hwn sydd yn treulio y rhan fwyaf o'r flwyddyn yn Cherra, gan fod U Knong yr efengylydd, ei nai, yn athraw yn Nongsawlia, ac, fe allai, yn gymhorth i'r hen ŵr i fyw. Pan fydd yn dyfod yma yn achlysurol, bydd yn cerdded y pentrefi cylchynol bron i gyd, ac yn siarad a phregethu i'r bobl. U Kypa Ka Hat oedd y llall. Nid oes eisieu ond ei enwi. Mae y ddau wedi bod ar hyd oes led faith yn marchnata ar hyd a lled y wlad; ac nid oes neb yn yr un o'r pentrefi nad ydyw yn eu hadnabod. Mae cael rhai fel hyn gyda mi yn fantais fawr i mi, ac yn lles i'r gwaith. Y pentref cyntaf yr aethom iddo oedd Wmsalait,—y pentref y mae rhai o'r trigolion ynddo gymaint o eisieu ysgol er ys dros dair blynedd. Mae y pentref yn cynnwys oddeutu pump ar hugain o dai, yr oll o ba rai oeddynt yn hynod o lân a threfnus, er nad oedd y bobl yn dysgwyl neb dyeithr i ymweled â hwy. Y mae y pentref yn sefyll yn nghanol anialwch o goed a glaswellt uchel, fel nad oes yn bosibl ei weled hyd nes y byddwn bron yn ei ganol. Ond wedi myned iddo, gwelir ei fod yn hynod glyd a thwt, y gerddi yn llawn o goed *oranges* a *lemons* ffrwythlawn. Tyrai y bobl, yn feibion, a merched a phlant o'n cwmpas, ac ymddangosent yn ein derbyn yn garedig, fel y teimlem, er yn flinedig, wedi teithio oddeutu ugain milldir o Shangpoong, yn hollol gartrefol a hapus ar unwaith.

Ar ol cael tamaid o fwyd, daeth y rhan fwyaf, yr wyf yn credu, o ddynion a llanciau y pentref ataf i'r tŷ; a chan fod y rhai oeddynt yn fy nghario i a fy mhethau yn Gristionogion, ac yn gallu canu yn dda, buom yn canu ac yn siarad er pleser iddynt oll (fel yr addefent) hyd nes yr oedd yn lled hwyr y nos. Wrth fyned ymaith addawsant ddyfod yno drannoeth, a daethant gan ddwyn eu gwragedd a'u plant gyda hwy. Yr oedd cymeryd meddyginiaeth yn beth pur ddyeithr iddynt; er hyny, wedi canmol fy nghyfferiau yn dda, cefais gan ddeg neu ddeuddeg gymeryd meddyginiaeth. Ar ol bwyta fy moreufwyd (yr oedd yr holl bentref yn edrych arnaf yn myned drwy y gorchwyl hwnw, gan wneyd nodiadau arnaf fel pe buaswn lew mewn *cage*), cawsom wasanaeth bychan o ddarllen rhan o'r Bibl, canu, pregethu yn fyr, a gweddïo; ac arosodd y cwbl i wrando. Wedi hyny, a chyn cychwyn i ffordd, ysgydwais ddwylaw gyda phob un o honynt. Yr oedd rhai o'r merched yn lled swil ar y cyntaf, ond gwnaethant oll, a gwaeddent os dygwyddwn fyned heibio rhai o'r bobl neu y plant heb ysgwyd dwylaw â hwy. Dyna ddesgrifiad llythyrenol o'r hyn a wnaethom yn Wmsalait; ac yr wyf yn credu fod rhai, o leiaf, o'r bobl yn nês at Gristionogaeth nag yr oeddynt o'r blaen, oblegid y mae amryw o'r bobl wedi bod, ar ol hyny, yn gofyn i ni frysio yno drachefn. Yr wyf yn meddwl yn sicr nad oes ond eisieu cael athraw da yn y pentref bychan hwn, na bydd llawer yn fuan yn cofleidio Cristionogaeth ynddo.

Oddiyno aethom i Mawlyber, pellder fe allai oddeutu deuddeng milltir. Yr oedd arnaf eisieu myned i'r lle hwn er ys rhai misoedd, i fedyddio ac i gyfranu yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd. Pan oeddym yno o'r blaen, bedyddiasom a derbyniasom yn gyflawn aelod hen wraig, sydd, hyd ag y gallaf gael allan, yn sicr o fod oddeutu cant oed. Y mae ei mab rai blynyddoedd dros ei ddeg a thriugain oed; ac yr oedd hi yn wraig mewn tipyn o oed pan anwyd ef. Pan oeddym yno o'r blaen nid oedd genyf elfenau yr ordinhâd gyda mi; ac yr oedd arnaf ofn i'r hen wraig farw cyn bod yn gyfranog, gan ei bod mor awyddus i fod. Ond y tro yma yr oedd yn edrych

yn llawer ieuengach. Ar ol iddi dywyllu, cawsom gyfarfod eglwysig, pryd y bedyddiais bump o bersonau mewn oed ac un eneth; ac ar ol hyny cawsom gydgyfranogi o Swper yr Arglwydd. U Long, un a wnaed yn ddiacon ar eglwys Iangkiat oddeutu tair blynedd yn ol, sydd yn awr yn athraw yn Mawlyber; ac y mae yr eglwys a'r gwrandäwyr yn cynnyddu o dan ei ofal. Fe dderbyniwyd chwech o bersonau i'r eglwys yr haf diweddaf yma; ac y mae yr eglwys yn awr yn rhifo un ar hugain.

Boreu dranoeth rhoddais feddyginiaeth i bawb oedd eisieu; ac yr oeddynt yn nifer go fawr, gan nad yw y lle yn lle iach o gwbl. Ar ol hyny cawsom oedfa, pryd y dechreuais i y gwasanaeth, ac y pregethodd U Tymmeu Don, Cherra. Y mae achos yr Arglwydd Iesu yn Mawlyber yn ymddangos mewn gwedd pur obeithiol ac iach; ond yr oedd yn ddrwg genyf edrych ar gyrff a gwedd y bobl, gan mor wanaidd ac afiach yr oeddynt yn edrych.

O Mawlyber aethom i Iangkiat, lle yr arosasom dros y Sabboth. Cawsom gyfarfodydd siriol yma drwy y dydd; a neilltuasom un cyfarfod yn gwbl i siarad ar fedydd a Swper yr Arglwydd. Ar ol egluro ychydig ar y materion, bedyddiais un bachgen, a chydgyfranogasom o Swper yr Arglwydd. Mae y gwaith yn myned ymlaen yma, ond fod y bobl yn lled anwybodus. Nid oes yn bosibl cael athraw da i fyned yno, gan nad yw yn lle iach. Mae yr athraw presennol yn ddyn da iawn, ond fod ei wybodaeth yn lled brin. Mae amryw wedi symud i'w plith o'r pentrefi cylchynol yn ystod yr haf diweddaf yma, ac y mae hyny yn peri gelyniaeth mawr tuag at y Cristionogion.

---

RHANAU O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS.

YN mis Ionawr ysgrifenai Mr. Evans, "Mae yr efengyl yn 'gorchfygu ac i orchfygu,' yn y rhan bellenig yma. Yr wyf yn cael pob lle i gredu fod yr adeg yma yn un o'r rhai mwyaf pwysig i grefydd a fu erioed yn y rhan yma o'r wlad; a bydd ôl y modd y gweithiwn yn awr ar y bobl am genedlaethau ac am byth. Mae yr efengyl yn graddol ennill ei lle yn meddyliau y bobl; ac os na roddwn bob yni ar waith, a phob chwareu teg i'r bobl wybod am dani, fe ddaw pethau eraill gwaeth i gymeryd gafael afosol yn y bobl i'w gwneyd mor anhawdd eu troi at Gristionogaeth ag ydyw pobl Nyrtiang a rhai lleoedd eraill. Yr ydym ni, wrth sylwi, yn gweled llawer o ddrysau yn agoryd i'r efengyl, a phobl ei heisieu nad allant ei chael. Mae yr Ysbryd Glân, yn ddiamheu, yn gweithio; ac y mae rhai bechgyn yn dyfod yn rhydd o ysgol Cherra heb le iddynt, o ddiffyg arian. Y mae y gwaith yn fawr, a rhai gweithwyr i'w cael, ac, mewn ystyr, yn gorfod segura am nad oes genym ddim *funds* i'w galw i'r winllan. Y mae U Kypa Ka Kat yn gwneyd llawer o waith Efengylydd wrth fyned a dyfod gyda'i fasnachiaeth. Yn agos i flwyddyn yn ol aeth i Suhtynga a Shilliang-Nyrtang; ac wrth weled y penaethiaid mor awyddus am gael ysgol, dywedodd fod yn lled debyg y gallwn i, ymhen rhai misoedd, sefydlu ysgolion yn eu pentrefi. Mae y bobl ar ol hyny wedi bod, amryw weithiau, yn ei ddal yn ei gynnyg; ac y mae yntau, wrth weled nas gallaf, yn gorfod osgoi y pentrefi hyny wrth fyned ar ei deithiau. Mae llawer yn mhentref Ralliang yn agosâu yn gyflym at Gristionogaeth; a bydd dau lanc ieuainc oddiyno sydd yn gallu darllen yn ymuno i ganu gyda ni bob wythnos yn y farchnadfa. Yr oedd U Kypa Ka Kat yn myned drwy bentref Ralliang yr wythnos ddiweddaf, pryd yr oedd y *Dolloi* blaenorol newydd fod yn ceisio gwahardd pedwar o ddynion ieuainc i ganu hymnau. Dywedodd y llanciau wrtho, ei fod ef, pan yn *Ddolloi*, wedi gwneyd pob peth yn ei allu, ac wedi llwyddo, i ddileu ysgolion o'i diriogaeth; ond nad oedd ganddo yn awr ddim awdurdod, ac nad oeddynt hwythau yn gweled y dylent beidio canu ar ei orchymyn. Wrth i mi ddyfod o gyfarfod yn y farchnad, oddeutu tair wythnos yn ol, deliais ryw wraig ar y ffordd, siaredais ychydig eiriau â hi ac aethum yn fy mlaen. Ar ol myned ychydig o latheni, galwodd arnaf a gofynodd a ddeuwn i'w phentref hi i ganu, gan ei bod wedi bod yn gwrando arnom a chael pleser mawr. Ei phentref, dywedai, oedd Hinienkymai; ac addawodd, ar ol i mi ofyn, y gwnai hi symud i dŷ arall, a symud ei phethau er mwyn i mi gael lle mor gysurus ag oedd yn bosibl i fwyta a chysgu. Addewais fyned yn y gwanwyn. Y mae llawer o bethau fel hyn yn dangos yn amlwg i ni fod syniadau y bobl yn prysur newid am 'grefydd yr ysgolion,' fel y galwa y bobl hi."

Yna cyfeiria Mr. Evans at y dyfarniad ffafriol i'r Genadaeth a wnaed gan y Prif-ddirprwywr yn achos y rhan o'r tir cenadol y ceisiai prif ddynion ei hawlio. Ymddengys nad yw terfyniad y drafodaeth wedi eu gwneyd yn fwy gelyniaethus, ond yn hytrach fel arall.

"Yr ydym yn myned ymlaen gyda chyfarfodydd y pentref; ac y maent eisoes yn dechreu dwyn ffrwyth. Ni byddem yn arfer dechreu a diweddu ein cyfarfod yn y

farchnadfa yn rheolaidd, dim ond dechreu trwy ganu; ac wedi siarad unwaith neu ddwy, diweddu yr un modd. Oddeutu pymthegnos yn ol, pa fodd bynag, diweddais y cyfarfod drwy weddi; ac yr oedd y peth mor newydd i ugeiniau os nad cannoedd oeddynt yn bresennol, fel y torodd llawer allan i chwerthin yn uchel, a pharhasant i chwerthin hyd y diwedd. Gallesid meddwl y buasai hyny yn cryfhâu gallu y tywyllwch yn ein herbyn; ond nid felly y mae wedi bod. Yr oedd rhai fel yn dangos mwy o gydymdeimlad â ni; a gobeithir yr ä ar gynnydd. Mae yn debyg fod llawer wedi gwneyd o ddiystyrwch, a rhai eraill yn eu dilyn heb wybod pa beth oeddynt yn wneyd; ond ni chymerwn ein digaloni gan ddim; ac ond i ni barhâu, ni bydd dim yn ein dull a'n cyfarfodydd yn fuan i beri iddynt synu a chwerthin.

"Y mae y plant wedi dechreu cael gafael ar ein hymnau, ac yn eu canu yn ystrydoedd y pentref, ac yn y *jungle* wrth gadw y gwartheg. Mae y bechgyn sydd yn cadw gwartheg pobl y pentref yn myned, fel rheol, gyda'u gilydd, yn enwedig pan fydd teigrod lawer o amgylch, er mwyn bod yn gryfach pe deuai ymosodiad arnynt. A'r ffordd ddiweddaf y mae rhai o'r Cristionogion yma wedi eu cael yn ymbleseru ydyw i un fyned ar gefn un o'r eidionau i bregethu, ac i'r lleill un ai sefyll neu eistedd ar y glaswellt i wrando arno. Y Sabboth diweddaf daeth tua deg ar hugain o enethod—pob un bron yn cario plentyn bach ar ei chefn—at ein hymyl i wrando arnom yn canu. Yr oeddynt wedi newid yn fawr, gan nad oedd yn ymddangos fod arnynt ein hofn. Byddent o'r blaen yn yr ystrydoedd yn gwrando; ond ni ddaethant erioed o'r blaen, bron i'n canol, fel y Sabboth diweddaf. Yr wyf yn dysgwyl llawer yn awr, ar ol i ni ddyfod i gytundeb mor gyfeillgar â'r pentrefwyr ynghylch y tir yma, y bydd i'r efengyl wneyd ei hol ar y bobl.

"Yr wythnos gyntaf o'r flwyddyn yma, rhoddodd pawb yn y lle yma ddiwrnod i ddiolch i'r Arglwydd am y cynauaf a holl fendithion y flwyddyn, ac i ofyn am ei nawdd drosom y flwyddyn hon. Mae genym un ar bymtheg o bersonau yn ein heglwys yn arfer gweddïo yn gyhoeddus, a gweddïodd y cwbl ond dau, un o ba rai oedd yn wael, yn ein cyfarfodydd. Yr oedd pawb yn ymddangos yn siriol, ac fel yn teimlo fod yr Arglwydd wedi bod yn dda wrthym yn ystod y flwyddyn. Yr wyf yn credu fod ein gwaredigaeth a'n goruchafiaeth gydag achos y tir yma yn ein gwneyd oll yn fwy diolchgar. Gwnaethom gasgliad hefyd, ac yr oedd, ar wahân i bob casgliad arall, a rhan y brodorion yn unig, yn cyrhaedd dros un swllt ar hugain. Yr wyf yn meddwl na wnaed *casgliad cyffredin* mwy erioed ar y Bryniau, a chymeryd rhif a thlodi y bobl i'r cyfrif."

---

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG CALCUTTA, IONAWR 23AIN, 1882.

NI a gyrhaeddasom Calcutta yn iach a diogel pan oedd yn dechreu tywyllu neithiwyr, ac arosasom yn y llestr hyd bore heddyw; ac ar ol glanio, deallasom fod y *mail* i Loegr yn cychwyn heddyw. Felly nid oes genym hamdden ond i ysgrifenu ychydig eiriau; bydd i ni ysgrifenu yn fanylach gyda'r *mail* nesaf. Ni a gawsom, ar y cyfan, daith gysurus, ond un arw dros ben y rhan fwyaf o'r fordaith, ac un faith hefyd. Ni a fuom yn cysgu yn y llestr ddeugain noswaith namyn un. Ni a gawsom gymdeithas Mr. Thomas Lewis o Suez hyd Calcutta; ac yr oedd yn dda iawn genym hyny, gan i ni ein tri fod yn gysurus iawn yn nghymdeithas ein gilydd, ac yn nghymdeithas yr Arglwydd Iesu Grist. Ni a gawsom ambell i seiat fechan felus; a melus iawn i ni fydd y coffa am danynt.

Diolch am eich llythyr oedd yma yn ein cyfarfod. Yr oedd yma lythyrau oddiwrth eraill hefyd yn ein croesawu; ac yr oedd yn dda iawn genym dderbyn yma nifer o lythyrau oddiwrth ein hanwyl gyfeillion o'r Bryniau, yn ein llongyfarch ar ein glaniad yn Calcutta. Ac yr oedd yn gysur mawr i ni ddeall eu bod hwy a'u teuluoedd yn lled iach, er fod rhai o honynt heb fod yn teimlo yn hollol gryf, eto yn well nag yr oeddynt wedi bod yn ddiweddar; ac hefyd fod gwaith yr Arglwydd yn gysurus ymhob lle dros y Bryniau. Yr Iesu grasol gofio ac a fendithio ei achos yn fwyfwy yn holl Khasia a Jaintia. Nis gwyddom eto pa adeg y gallwn gychwyn oddiyma i fyny am y Bryniau, ond ni a awn mor fuan ag y gellir.

Torais y *telegram* amgauedig o'r "*Englishman*" am heddyw, yr hwn sydd yn hysbysu fod tân wedi tori allan mewn rhan o Mawkhar,* y pentref brodorol mawr gerllaw yr hwn y mae y capel a'r ysgoldŷ wedi eu hadeiladu; a bod yr olaf wedi llosgi oll, ond iddynt lwyddo i gael y tân danodd cyn iddo gyrhaedd y tŷ cenadol. Bydd hyn yn brofedigaeth a cholled fawr, heblaw bod yn anghyfleusdra mawr. Yr oedd yn drugaredd fawr iawn i'r tŷ ddianc. Yr oedd y capel wrth ymyl yr ysgoldŷ; ond gan ei fod wedi ei doi â haiarn, ni wnaeth y tân un niwed iddo. Fe geir manylion

* Rhan o Shillong.

eto am y tân, pa fodd y dechreuodd, &c.; ond y mae yn sicr ymlaen llaw, mor bell ag yr wyf fi yn gwybod am y lle, mai peth damweiniol ydoedd, ac iddo dori allan yn nhŷ un o'r brodorion yn y pentref, ac ymledu yn fuan, gan fod pob peth yn eu tai, a'r tai eu hunain, yn sych a chrin yr adeg hon o'r flwyddyn. Bydd i ni wneyd pob prysurdeb i gychwyn am Shillong, er cael cydystyried beth a ellir wneyd tuag at ei hail wneyd, a beth a ellir wneyd yn y cyfamser tuag at gael lle i gynnal yr ysgol. Mae yn debyg y ceisir cael tô haiarn i'w roddi arno y tro nesaf.

---

LLYTHYR ODDIWRTH MR. THOMAS LEWIS.

[Pan yr oeddid yn rhoddi y *sheet* olaf o'r rhifyn hwn yn y wasg, y daeth y llythyr canlynol i law, yr hwn a anfonwyd gan Mr. Lewis at y Parch. R. Edwards, Golygydd y DRYSORFA; a chan ei fod mor ddyddorus ac mor amserol, rhaid oedd gwneuthur lle iddo.]

Calcutta, Ionawr 27, 1882.

ANWYL SYR,

Dyma ni o'r diwedd, o ddaioni yr Arglwydd, wedi cael ein traed ar ddaear India. Bu y fordaith ychydig ddyddiau yn hwy nag arfer, o herwydd ystormydd yn y *Bay of Biscay*, anaybendod yn myned drwy y Suez *Canal*, dyryswch ar yr *engine* yn yr *Indian Ocean*, ynghyd a gwynt croes bob dydd o Aden yma. Cysgodd Mr. a Mrs. Jerman Jones 39 noswaith yn y llestr, a minnau 21.

Gadewais i Lundain yr un diwrnod ag yr oeddynt hwy yn gadael Liverpool. Daethum trwy Paris, a chyda y rheilffordd trwy *Mont Cenis tunnel* o Turin, ac oddiyno trwy Bologna i Brindisi; ac yno yr oeddym yn cael *steamer* i'n cludo i Alexandria yn yr Aipht. Wedi treulio wythnos neu ddwy yn yr Aipht, a chael golwg ar Cairo, y Nile, a'r Pyramidiau, &c., gwelwn un bore o ddrws yr *hotel* yn Suez, ar lan y Môr Coch, y '*City of Edinburgh*' yn dyfod yn y *canal*. Tuag 11 o'r gloch bore Llun, Ionawr 2il, aethum ar ei bwrdd; ac yr oedd yn hynod dda genyf gyfarfod â Mr. a Mrs. Jones, a'u gweled yn edrych cystal. Ond erbyn ymholi, deallais eu bod hwy wedi cael mordaith hynod o ystormus am amryw ddyddiau yn y *Bay of Biscay*, ac hefyd yn Môr y Canoldir. Tystiai y Capten na bu efe erioed yn y fath ystorm am gyhŷd o amser. Tybiai fwy nag unwaith un noswaith mai suddo a wnaent. Ond gwelodd yr Arglwydd yn dda eu cadw yn ddiogel.

Cawsom ryw bum' niwrnod hynod o hyfryd tra buom yn y Môr Coch; awel iachus, a'r hin heb fod yn rhy boeth, a'r lloer yn ein hanrhydeddu â'i goleuni dysglaer ar hyd y nos. Dywedir mai yr un lloer sydd yn goleuo yma ag yn Nghymru. Os mai ie, y mae yma yn ymddangos yn llawer mwy, ac yn goleuo yn llawer siriolach. Yr ydym yn sylwi hefyd fod yr haul a'r lloer yn teithio yma yn llawer cyflymach nag yna; canys pan fydd yr haul ar y terfyngylch ar fachludo, a'i ymyl isaf wedi cyrhaedd y môr, ni bydd ond ychydig fomentau yn myned o'r golwg, braidd fel disgyniad careg.

Yr oeddym yn dygwydd eistedd ar y *deck* tua 10 o'r gloch y noswaith gyntaf yn y Môr Coch, ac yn ymddyddan â'n gilydd am Gymru, pryd y dygwyddodd i ni gofio mai hono oedd y "nos Lun cyntaf o'r mis," ac o'r flwyddyn hefyd o ran hyny, pryd y cedwir y cyfarfodydd gweddïau cenadol. Ac erbyn cymharu yr amser, gwelsom ei bod yn agos yn 8 o'r gloch y pryd hwnw yn Nghymru, pan yr oedd ugeiniau, os nid cannoedd, o bobl dduwiol yn gweddïo am lwyddiant y Genadaeth, ac am amddiffyn Duw dros y Cenadon. Parodd hyn sirioldeb mawr i'n meddyliau ar y pryd; ac aethom ninnau i'n *cabin* bychan, i geisio ymuno gyda "yr holl saint" yn yr un dymuniad.

Yr oedd Mr. Jones wedi llwyddo i gael *prayers*, sef addoliad teuluaidd bob bore, yr hyn, fel yr wyf yn deall, sydd yn beth tra anghyffredin ar yr agerlongau sydd yn cludo y teithwyr. Yr oedd rhywbeth tra dyddorol ac effeithiol mewn cysylltiad â'r cyfarfodydd hyn. Treuliem y dydd oll, os yn iach, ar y *poop* uwch ben y *saloon* a'r *cabins* lle y cysgem. Ac yn y fan hon yn yr awyr agored, a dim ond y môr mawr llydan i'w weled o'n hamgylch, a'r hen awyr lâs lachar yn dô uwch ein pen,—y cynnelid y cyfarfod. Dyna gapel brâf, a digon o *ventilation* ynddo. Ychydig wedi 9 o'r gloch, caech weled y morwyr yn cludo ceseileidiau o Fiblau a Llyfrau Hymnau i fyny, er mwyn i bawb gael y naill a'r llall. Am hanner awr wedi 9 canai y gloch, ac yno y tyrai ynghyd yr holl deithwyr, a'r capten, ac amryw o'r swyddogion, a'r morwyr. Yr oedd yno *harmonium* fechan, yr hon a chwareuid gan Dr. Mackenzie, gŵr yn perthyn i'r fyddin; cenid ddwywaith, darllenid pennod, a gweddïid. Yr oedd yr unigedd mawr y teimlem ein hunain ynddo, gannoedd o filldiroedd oddiwrth unrhyw dir, ynghyd a'r syniad o'n dibyniaeth hollol ar y Brenin Mawr am ein diogelwch, yn peri fod pawb i ryw raddau yn teimlo mai eu dyledswydd oedd ceisio diolch iddo a'i addoli. Yr oedd rhai o'r teuluoedd oedd ar y bwrdd wedi gadael amryw o'u plant ar eu hol yn Scotland, &c.; a phan y gweddïai Mr. Jones, i'r Arglwydd gofio am y rhai oeddid wedi adael genym ar ol yn Lloegr a Chymru a Scotland, yr oedd yn amlwg ei fod yn cyffwrdd â man tyner iawn ar galonau y rhieni hyny ag yr oedd eu plant ar ol. Daeth amryw o honynt ar ddiwedd y fordaith i ddiolch i Mr. Jones am sefydlu y cyfarfodydd hyn, yn gystal ag am bregethu ar y Sabbothau.

Yr oeddym yn croesi y fan yr aeth yr Israeliaid trwy y Môr Coch un canol dydd; ac yn yr hwyr y noson hono yr oeddym yn myned heibio i fynyddoedd Sinai. Anialwch gwag erchyll ydyw anialwch Sinai eto.

Ar ol i ni fyned i'r *Indian Ocean*, cyfarfuom âg ychydig brofedigaethau. Buom un diwrnod yn sefyll i daclu yr *engine*; a chawsom dri neu bedwar diwrnod o wynt lled gryf, nes yr oedd braidd bawb yn glaf o glef-

yd y môr. Erbyn hyn yr oedd y tywydd yn hynod boeth, a phawb yn dra sychedig, a'r unig beth a dorai dipyn ar syched oedd *lemonade*. Ond pan yr oedd genym eto ddeng niwrnod o fordaith, clywem fod yr holl *ginger beer* a'r *lemonade* wedi darfod. Drannoeth darfyddodd yr *oranges*, a'r dydd canlynol darfyddodd yr *ice*. Nid oedd genym mwy. ach unrhyw wlybwr ond dwfr clauar, yr hwn y dywedai'r meddyg fod yn dra pheryglus yfed nemawr o hono. Pan gofier hefyd fod y *tea* ar hyd y fordaith o'r fath waethaf, fel nad allai y rhai oedd hoffaf o drwyth y llysieuyn hwnw wneyd nemawr ddim âg ef, a bod y *coffee* hefyd yn dra chanolig, gall y rhai hyny a fuont yn byw neu deithio mewn gwledydd poethion gydymdeimlo â ni. Ryw bedwar diwrnod cyn cyrhaedd pen ein taith, hysbysid fod y cig ar ddarfod, a'r hwyaid a'r gwyddau oll wedi cael eu lladd; a hysbysai un o'r teithwyr a fu yn gwneyd ymchwiliad nad oedd yno wed'yn ond dwy iar. Y diwrnod hwn darfyddodd yr holl ddwfr cröew, ac nid oedd genym yna ond *condensed sea water*.

Modd bynag, cyrhaeddodd pawb ben eu taith yn fyw ac yn iach. Siriolodd a gwelläodd pawb yn anghyffredin pan ddaethom i'r afon Hoogley a gweled tir India. Yr unig effaith a gafodd y fordaith arnom oedd ein hysgafnhâu. Yr oedd amryw wedi ysgafnhâu pwys o bob ugain o'r hyn oeddynt pan yn gadael Liverpool. Gellir tystio fod y capten a'r swyddogion oll wedi bod yn dra charedig wrthym; ac yr oedd y cwmni oll yn dra chysurus gyda'u gilydd.

Yr oedd yma lythyrau oddiwrth yr holl Genadon, yn gystal ag oddiwrth amryw o'u gwragedd, yn ein croesawu, ac yn dadgan eu hawydd am ein gweled yn fuan ar y Bryniau. Ymhen rhyw dri diwrnod ar ol cyrhaedd yma, derbyniais yr ail lythyr oddiwrth y Parch. G. Hughes, yn yr hwn y mae yr hyn a ganlyn: "Nid wyf yn gwybod dim am eich trefniadau ynghylch pa ffordd y deuwch i fyny; ond, pa fodd bynag, pan gâf wybod, yr wyf yn bwriadu, os yr Arglwydd a'i myn, ddyfod i'ch cyfarfod. Os byddwch yn dyfod drwy Gowhati, y mae brenin Khadsawprah yn bwriadu dyfod gyda mi." Gwelwch nad yw ambell un heblaw prophwyd yn cael anrhydedd yn ei wlad ei hun.

Y mae Calcutta yn dref fawr iawn, yn cynnwys llawer o adeiladau gwychion, a masnach fawr yn cael ei chario ymlaen ynddi. Mae yr hin yn boeth iawn; nis beiddiwn fyned allan am rai oriau ganol dydd. Yr ydym yn cael ein cadw yma yn llawer hŵy nag y dymunem, o herwydd y drafferth a'r anhawsdra mawr sydd i gael y *boxes* oll, yn cynnwys y rhoddion o Gymru i'r Cassiaid, trwy y *Custom House*.

Yr oedd y ddau ddiwrnod cyntaf o'r wythnos hon yn ŵyl grefyddol dros India oll gan yr Hindŵaid. Carient eu duwiau ar fyrddau ar eu hysgwyddau trwy yr heolydd; canent a dawnsient o'u blaen, a dilynai miloedd o bobl hwy yn yr orymdaith.

Rhaid i ni aros yma eto am ychydig ddyddiau cyn cychwyn i'r Bryniau.

Yr eiddoch yn gywir,

THOMAS LEWIS.

Dymuna y Parch. John Roberts ddiolch yn gynhes i'r cyfeillion sydd wedi bod mor garedig a chynnorthwyo cyfeillion Nongsawlia gyda'r tô haiarn. Mae eu henwau i'w gweled yn y rhifynau blaenorol o'r CRONICL CENADOL, fel na raid eu crybwyll o un i un. Diolcha y Parch. R. Evans yn gyffelyb, ar ran cyfeillion Shangpoong, am y cynnorthwy gafwyd hyd yma at y capel newydd y bwriedir ei godi yno.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol tuag at y Genadaeth er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Runcorn (Ysgol Sabbothol) .......... | 0 | 7 | 0 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. Evans, Bodryngallt ................ | 77 | 7 | 6 |
| Arfon, trwy law Mr. Jonathan, Caernarfon ............................ | 440 | | 0 |
| Un sydd yn bwriadu bod yn Genadwr | 0 | 10 | 0 |
| Bootle, Blychau Cenadol ............ | 11 | 12 | 2 |
| Beaufort (Cendl), Mon., Casglwyd gan y plant trwy docynau .............. | 2 | 7 | 3 |
| Mr. Peter Davies, Abergwilly ........ | 0 | 9 | 0 |
| Y diweddar Trefor Jones, Corris, bachgen bach dan 6 mlwydd, tuag at brynu Bibl a Llyfr Hymnau i blant bach Khasia ............................ | 0 | 3 | 6 |
| Abertillery, trwy law Mr. P. Rowlands | 1 | 0 | 0 |
| Sir Benfro (yr Eglwysi Seisonig), trwy law y Parch. William Powell, Penfro | 47 | 17 | 3 |
| Gogledd Sir Aberteifi (ail-daliad), trwy law Mr. Philip Williams, Aberystwyth ................................ | 53 | 13 | 4 |
| Manchester, trwy law Dr. Roberts .... | 60 | 0 | 0 |

D.S. Rhaid i'r cyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad Blynyddol nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn Mawrth 31ain. Os oes rhyw leoedd eto heb wneuthur y Casgliad Cenadol, dymunir iddynt ei wneuthur yn ddioed.

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 618.] EBRILL, 1882. [LLYFR LII.


## LLEFARU WRTH DDUW.


GAN Y PARCH. OWEN JONES, LLANDUDNO.


ESAIAH lxv. 24: "Ac â hwy eto yn llefaru, mi a wrandawaf."

Y MAE y bennod dra phwysig hon yn llawn o annogaeth i'r eglwys Gristionogol barhâu yn ei hymdrechion o blaid y freniniaeth nad yw o'r byd hwn. Dengys y prophwyd fod dyfodol gogoneddus yn aros, i'r eglwys ac i'r byd. Y mae adeg yn nesâu pan fydd gwirionedd efengylaidd, sancteiddrwydd didwyll, a thangnefedd nefol, yn teyrnasu ymysg holl genedloedd y ddaear; ac y mae y moddion a ddefnyddir gan eglwys Crist y dyddiau hyn yn prysuro dyfodiad y dydd gogoneddus hwnw. Y mae y prophwyd yn y bennod hon yn rhagfynegu gwrthodiad yr Iuddewon, a thröedigaeth y Cenedloedd, ond nid oedd gwrthodiad yr Iuddewon i fod yn hollol a therfynol. Y maent i gael eu hadferu i'w tir eu hunain, ac y mae adfywiad gwir grefydd i gymeryd lle yn eu plith (adn. 17—25).

Yn y testun, fe'n dysgir y bydd llawer o weddïo pan adfywir crefydd yn y tir, ac yr atebir y cyfryw weddïau yn fuan. Y mae Duw yn llawn o drugaredd, ac efe a dywallt fendithion ei gariad yn helaeth ar eneidiau lawer. Y mae yr addewid yn gyflawn o galondid i bawb a ymroddant i weddïo; canys y mae Duw yn edrych ar bawb a lefarant wrtho Ef, ac Efe a ostwng ei glust yn rasol at eu deisyfiadau: "Ac â hwy eto yn llefaru, mi a wrandawaf."

Sylwn yma ar y wêdd dra dyddorol a gawn ni ar yr ymarferiad o weddi yn y testun: llefaru wrth Dduw;—mynegu ein hanghenion a'n dymuniadau iddo ef, a cheisio daioni o'i ystorfeydd anfeidrol o ras. Y creadur sydd yma yn llefaru wrth y Creawdwr—y deiliad yn llefaru wrth y Brenin tragywyddol—y plentyn yn llefaru wrth ei Dad sydd yn y nefoedd. Y mae hyn yn amlygiad o ffydd yn modolaeth Duw, ac yn ei barodrwydd i wrandaw gweddi. Yma gwelwn dra rhagoriaeth dyn ar bob creadur arall yn y byd hwn. Y mae myrddiynau o greaduriaid yn y byd; ond nid oes yr un o honynt oddieithr dyn wedi ei ddoniaw â rheswm, ac yn alluog i lefaru wrth ei Greawdwr. Ni wyddant ddim am ei briodoliaethau gogoneddus. Nis gall pysg y môr, ehediaid y nefoedd, na bwystfilod y goedwig, lefaru wrth Dduw; ni feddant gymhwysder i ddal cymundeb â Sanct yr Israel; nis gallant fyfyrio ar y dadguddiad a wnaeth ef o hono ei hunan yn ei weithredoedd rhyfeddol. Ond y mae dyn yn meddu rheswm, y gallu i feddwl, ac i ymddyddan â'i Luniwr; ac yn hyn y gwelwn urddas dyn—yr anrhydedd a roddes Duw arno ef; ac ar yr un pryd, gwelwn ei fawr bechadurusrwydd yn esgeuluso defnyddio galluoedd ardderchog ei enaid er gogoniant Duw, a'i gynnydd ei hunan mewn gwybodaeth, sancteiddrwydd, a chymhwysder i'r nefoedd. Y mae torfeydd o ddynolryw y rhai a roddant eu meddyliau ar waith yn ddiwyd ynghylch negeseuau y bywyd hwn, ïe oferion,

a difyrion y fuchedd bresennol, ac nas defnyddiant hwynt un amser yn ngwasanaeth Duw. Nid ydynt yn ystyried ei hawlion ef; nid ydynt byth yn myfyrio ar ei air, yn ceisio ei drugaredd, nac yn edmygu ei ogoniant anfeidrol. Cyfodant yn y bore, ac ymneillduant i'w gorphwysfa y nos, ond heb lefaru wrth Dduw; ac os gwnânt hyny yn ddefodol, nis gwnânt hyny gyda'r parch, yr hyder, y diolchgarwch, a'r cariad, sydd mor deilwng iddo ef.

Y mae y gallu yma i lefaru wrth Dduw yn cynnwys cyfrifoldeb difrifol; ac os esgeuluswn ei iawn ddefnyddio, nyni a dynwn euogrwydd ar ein heneidiau ein hunain, ac a'u gwnawn yn ddarostyngedig i amlygiadau o'r anfoddlonrwydd Dwyfol. Gwnaeth Duw ddyn i'r amcan o gynnal cymundeb âg Ef ei hunan; a hyny ydoedd hyfrydwch Adda cyn ei gwymp, ac a fydd hyfrydwch y gwaredigion i dragywyddoldeb. Bydd eu dedwyddwch yn gynnwysedig mewn cymundeb di ball â'r Hwn sydd yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd, gan syllu ar ei ogoniant, mynegu ei drugarogrwydd, a'i foliannu am ei holl weithredoedd rhyfeddol.

Y mae annhueddgarwch gresynol dyn anianol i lefaru wrth Dduw, yn dangos yr anghenrheidrwydd am yr adenedigaeth, a'r mawr bwys o'r cyfnewidiad hwnw. Dyna y pryd y mae bywyd newydd yn cael ei ddwyn i'r enaid, ac y mae efe yn dechre cynnal cymundeb â Duw. Yna y mae goleuni, bywyd, a gallu ysbrydol yn cael eu cynnyrchu ynddo; y mae yn cael ei wneyd "yn gyfranog o'r duwiol anian," ac y mae yr enaid yn ymwneyd mewn serchiadau ysbrydol â ffynnonell pob daioni, tymmorol ac ysbrydol. Bellach, gwelir gwerth yr enaid, teimlir anghenion yr enaid; ac y mae dymuniadau y dyn newydd yn cyfarfod yn Nuw. Gwelir hyn yn nghanlyniadau argyhoeddiad Saul o Tarsus. Pan agorodd yr Ysbryd Glan ei lygaid, y tynerodd ei galon, ac y gwnaeth ef yn greadur newydd yn Nghrist Iesu, efe a ddechreuodd lefaru wrth Dduw yn y fan ynghylch llesion ei enaid, mewn modd nas gwnelsai erioed o'r blaen. Yna y dywedid, "Wele, y mae efe yn gweddïo." Yr oedd efe yn awr yn deimladol o'i euogrwydd ger bron Duw, llygredigaeth dwfn ei natur foesol, a'i anghen dirfawr am drugaredd Ddwyfol; ac yn awr, efe a ddechreuai weddïo yn daer am faddeuant o'i aml bechodau, am i'r Ysbryd Glan lanhâu ei galon bechadurus, ac am drugaredd i'w gymhwyso i wasanaeth Duw ar y ddaear, ac i'w ogoniant yn y nef. Y mae yr enedigaeth newydd yn anhebgorol er ein cymhwyso i lefaru yn iawn wrth Dduw; canys yn y canlyniad i hyny y bydd genym ffydd yn yr unig Waredwr, y cariad penaf at Dduw, galar am bechod, gostyngeiddrwydd ysbryd, a dwysddymuniad gwirioneddol am gyrhaedd bywyd tragywyddol. Pan dywallter yr Ysbryd Glân, ac yn ol y mesur y tywalltir Ef, bydd llawer o lefaru wrth Dduw o berthynas i gyflwr yr enaid, llwyddiant ei waith yn y byd, a'r amlygiad o'i ogoniant yn muddugoliaethau yr efengyl. Bydd llawer o lefaru wrth Dduw ymysg Iuddewon a Chenedloedd, pan ymddengys Duw yn ei gadernid i gyflawni rhagfynegiadau ei air: "A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddïau; a hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant; galarant hefyd am dano, fel un yn galaru am ei unig-anedig, ac ymofidiant am dano ef megys un yn gofidio am ei gyntafanedig" (Zech. xii. 10—14). Ac yma, gwelwn werth annhraethol y dadguddiad Dwyfol. Y mae hyn yn gymhelliad i bechaduriaid, ïe, y penaf o bechaduriaid, i lefaru wrth Dduw; canys y mae yma ddadguddiad o'i nodweddiad tadol, o ffordd o ddyfodfa at orseddfa ei ras, a'i barodrwydd i wrando gweddi. Gan hyny, bydded i ni werthfawrogi yr Ysgrythyrau ar y cyfrif yma, a llawenhâu yn eu perchenogaeth fel un yn cael ysglyfaeth lawer.

Llefaru wrth Dduw ydyw gweddïo; llefaru wrtho am ein hanghenion ein hunain, ac anghenion ein teuluoedd, a'r eglwys, a'r byd; ac y mae duwiolion yn ystyried hyn yn fraint fawr. Annogir ni i lefaru wrth Dduw ymhob lle, dan bob amgylchiad, ac ar amryw destynau. Y mae yr Ysgrythyrau yn cymhell *pawb* o honom i lefaru wrtho ef. Dyma ragorfraint y penadur yn ei lŷs, a'r gŵr tlawd yn ei fwthyn; dyma ragorfraint yr ieuanc a'r oedranus, y tad a'r plentyn, y meistr a'r gwas. Y mae hon yn rhagorfraint a feddwn yn ein hystafell ddirgel, yn y teulu, ac yn y cysegr.

Fe'n cymhellir yn yr Ysgrythyrau i

lefaru wrth Dduw ar ein rhan ein hunain, ac ar ran eraill. Yr addewid yn y testun a'n cymhella i lefaru wrth Dduw mewn gweddi; ac wrth eneidiau a alwant arno, y mae Efe yn dywedyd, "Ac â hwy eto yn llefaru, mi a wrandawaf." Ni ddigia am lefaru o honom wrtho, ond i ni lefaru mewn ysbryd priodol; ïe, y mae Efe yn dysgwyl i ni lefaru wrtho, ac yn gorchymyn i ni wneyd hyny, ac y mae yn ein cymhell trwy ddysgeidiaeth ei Fab anwyl ei hun. Y mae Efe yn rhagflaenu ein hanghenion yn fynych, ac yn gweled ein dymuniadau cyn i ni eu gwisgo mewn geiriau. Y mae Efe yn clywed ochenaid y carcharorion: "A bydd, cyn galw o honynt i mi ateb." Y mae Efe yn dangos yn y fan yn fynych ei fod yn gwrando gweddi, gan adfywio a dyddanu yr enaid yn ddioed. Tra yr oedd Daniel yn llefaru wrth Dduw ar ran y gaethglud Iuddewig, anfonodd Duw ei angel Gabriel i'w sicrhâu y byddai iddo gael atebiad grasol. Tra yr oeddynt yn llefaru wrth Dduw ar ddydd y Pentecost, disgynodd yr Ysbryd Glân arnynt a bendithiwyd llawer. A thra y mae llawer yn llefaru wrth Dduw yn ein gwlad ni ein hunain y dyddiau hyn, y mae Duw yn tywallt ei fendithion ar gymydogaethau. Felly hefyd y bydd pan ddychwelir yr Iuddewon, ac y'n dygir i'r eglwys gyda chyflawnder y Cenedloedd. Y mae yr addewid yn y testun yn ein dysgu mor barod yw Duw i ateb gweddi, ac yn enwedig gweddïau a offrymir o ganol adfywiad crefyddol diffuant. Yn awr gan hyny, paham y mae Duw mor barod i wrando gweddi gywir? Y mae hyny yn tarddu oddiar gymwynasgarwch anfeidrol ei natur. "Y mae yn hoff ganddo drugaredd." Ffrwyth gwerthfawr ei ras Ef ei hun yw gweddi; canlyniad ei addysg ef ei hun; llais y creadur newydd ydyw (Galat. iv. 6). Ac y mae gweddi gywir yn cael ei hoffrymu yn enw ei Fab Ef, enw sydd yn meddu dylanwad mawr gyda Duw, ac am fendithion a addawodd Efe; ac fe'i hoffrymir gan ei blant, gwrthddrychau ei gariad tragywyddol (Luc xviii. 18). Gan hyny, bydded i ni barhâu i lefaru wrth Dduw, trwy yr hyn y daw i ni ddaioni lawer. Eto cofiwn, fod llawer yn llefaru wrth Dduw, na fuddia: "Gofyn yr ydych ac nid ydych yn derbyn, am eich bod yn gofyn ar gam" (Iago iv. 3). Rhaid i'r gweddïwr fod yn ddiffuant, yn daer, ac yn hyderus, os y myn efe lwyddo. Y mae y Goruchaf yn canfod pawb sydd yn llefaru wrtho Ef, yn adwaen ansawdd eu meddyliau, ac yn abl i gyflawni eu holl anghenion. Pa mor deilwng o'n cariad ydyw y fath Fôd graslawn! Gynifer o dlodion a lefant arno ag y mae Efe yn eu bendithio yn barhâus! Ond cofiwn mai Penarglwydd yw, ac y gwrendy weddi pan y rhyngo bodd iddo ef ei hunan; weithiau yn y fan, ac weithiau ymhen blynyddoedd.

---

## AMCAN UCHAF YR YSGOL SABBOTHOL.

**Pregeth a draddodwyd yn Nghymanfa Ysgolion Rhan Isaf Sir Drefaldwyn.**

*Gan y Parch.* J. GREY JONES, *Llanfairoaereinion.*

2 CHRONICL XXX. 22: "A Hezeciah a ddywedodd wrth fodd calon y Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd."

NID oes, o bosibl, yr un wlad Brotestanaidd lle y pregethir efengyl Crist yn ei phurdeb, ac y sefydlir eglwysi i Dduw, nad yw wedi derbyn budd a lleshâd, ac wedi profi dylanwad iachusol a bendithiol, oddiwrth yr Ysgol Sabbothol. Y mae Protestaniaeth a'r Ysgol Sabbothol ymhob man yn gyffelyb i eneidiau Dafydd a Jonathan gynt, y naill wedi ymglymu i'r fath raddau wrth y llall, fel y mae yn anmhosibl i un syrthio heb i ysbryd y llall ymofidio a llesgâu, ac yn anmhosibl i'r naill ymddyrchafu a llwyddo heb fod ysbryd y llall yn cael ei lawenychu a'i gyfnerthu. Ond o bob gwlad a chenedl dan haul, mae yn ddiau nad oes yr un wedi derbyn mwy o fudd, ac wedi mwynhâu mwy o fendithion, oddiwrth yr Ysgol Sabbothol na'n gwlad a'n cenedl ni, Cymru a'r Cymry. O adeg ei sefydliad cyntaf yn ein gwlad, oddeutu can' mlynedd yn ol, hyd yn awr, y mae wedi cael y fath ddylanwad âr ein cenedl, ac wedi bod mor wasanaethgar i gynnydd gwybodaeth, moesoldeb, a chrefydd yn ein plith, fel y mae yn anmhosibl i neb sydd â gronyn o gariad ynddo at ei wlad, lai na theimlo y parch a'r ymlyniad mwyaf wrthi, o herwydd yr hyn a wnaeth yn y gorphenol, a'r pryder a'r gofal mwyaf am ei llwyddiant a'i chynnydd yn y dyfodol.

Mewn ufudd-dod parchus i gais Cymanfa Ysgolion y Sir hon, a than deimlad dwys o'm dyled o'm rhwymedigaeth bersonol i'r Ysgol Sabbothol, dymunwyf alw

eich sylw o newydd at y sefydliad bendithiol hwn, gan wir awyddu am ei godi i fwy o fri ac urddas yn ein plith fel sefydliad gwir werthfawr a daionus.

Ar yr achlysur nis gallaf feddwl am unrhyw eiriau mwy cyfaddas a phwrpasol i seilio ychydig sylwadau arnynt na geiriau ein testun, gan eu bod, i'n tyb ni, yn gosod allan yn bur amlwg wir ddybeu yr Ysgol Sabbothol, sef "dysgu gwybodaeth daionus yr Arglwydd." "A Hezeciah a ddywedodd wrth fodd calon y Lefiaid, y rhai oedd yn dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd." Mae yr hyn oedd unwaith yn waith neillduol i'r Lefiaid wedi dyfod yn awr yn waith cyffredinol yr Ysgol Sabbothol; yr hyn oedd o dan yr Hen Destament wedi ei gyfyngu i un llwyth, sydd o dan y Testament Newydd wedi ei daflu yn agored i holl lwythau Israel Duw: "dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd."

Y mater, gan hyny, y ceisiwn sylwi arno am ychydig ar bwys y geiriau fydd, amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol.

Mae yr amcan hwn yn cynnwys TRI PHETH:—Dwyn yr holl ddeiliaid i feddu gwybodaeth am yr Arglwydd, eu dysgu i roi ufudd-dod i'r Arglwydd, a'u cael i feddu dirnadaeth ysgrythyrol ac ysbrydol o feddwl ac ewyllys yr Arglwydd.

Ac y mae cysylltiad agos a neillduol rhwng y tri hyn a'u gilydd, a'r hwn gysylltiad sydd yn cael ei awgrymu i raddau gan y drefn ymha un yr ydym wedi eu cyfleu. Y mae gwybod am yr Arglwydd i fod mewn trefn i ufuddhâu i'r Arglwydd,—ac y mae ufuddhâu i'r Arglwydd i fod mewn trefn i feddu dirnadaeth briodol o feddwl ac ewyllys yr Arglwydd; gwybod er mwyn ufuddhâu, ac ufuddhâu er mwyn gwybod mwy ac yn well.

I. Y mae amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol, sef dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd, yn cynnwys,—*dwyn yr holl ddeiliaid i feddu gwybodaeth am yr Arglwydd.*

Nid oes, o bosibl, yr un gwirionedd yn cael ei ddysgu yn amlycach gan hanesiaeth y byd na bod pob dyn yn feddiannol ar ryw fath o wybodaeth am Dduw. Hyny ydyw, y mae gan bron bawb fath o ymsyniad neu ymwybyddiaeth, neu argyhoeddiad o fodolaeth rhyw *Fôd* neu *Allu* uwchlaw iddynt, ar yr hwn y maent yn dibynu, ac i'r hwn y maent yn gyfrifol. Nid oes, meddir, yr un llwyth o ddynion wedi ei ddarganfod erioed nad oedd ganddynt ryw syniad neu gilydd am fodolaeth Bôd o'r fath. Er iddynt fod wedi suddo i'r dyfnderoedd isaf o anwareidd-dra ac anfoes, eto yr oedd teimlad o rwymedigaeth i Allu uwchlaw iddynt, ynghyd a theimlad greddfol o ddyhëad am dano, yn ddwfn yn natur pob un o honynt. Dygent yn eu mynwesau dystiolaeth i Dduw, ac nis gallent beidio bod yn ymwybodol o'i fodolaeth. Ond er meddu yr ymwybyddiaeth yma o fodolaeth Duw, y mae dyn byth ar ol y cwymp wedi colli pob gwir wybodaeth am natur Duw,—yr hyn ydyw o ran ei hanfod, ei Berson, a'i briodoleddau; ac nis gall trwy rym ei ddeall a'i reswm anianol ei hun byth gyrhaedd y wybodaeth hono. Trwy bechod y mae dyn nid yn unig yn dywyllwch ei hunan, ond hefyd wedi myned i dywyllwch, fel elfen yn yr hon y buasai byth oni bydd lai am drugaredd Duw. Y mae nid yn unig yn ddall,—wedi colli y gallu oedd ganddo i weled, i ddirnad, ac i adnabod gwrthddrychau ysbrydol, ond hefyd mewn tywyllwch,—wedi ei amgylchu a'i orchuddio â'r fath dywyllwch hollol, fel hyd yn nôd pe byddai llygaid ei feddwl mor fyw a chrâff â phan gafodd hwynt gyntaf gan Dduw, y buasai yn anmhosibl iddo ganfod Duw yn unman fel sylfaen i obeithio ynddo am fywyd a chadwedigaeth. Tra chywir, yn ddiau, ydyw desgrifiad y Bibl o hono, ei fod "yn eistedd mewn tywyllwch a chysgod angeu."

Ond, o drugaredd, y mae y bobl oedd yn eistedd mewn tywyllwch erbyn hyn wedi "gweled goleuni mawr,"—ac i'r rhai "a eisteddent yn mro a chysgod angeu" y mae goleuni wedi cyfodi. Er fod yr Arglwydd, i ryw ddybenion doeth, wedi gweled yn dda adael y rhan fwyaf o'r byd am filoedd o flynyddoedd mewn anwybodaeth am dano ei hun, eto efe a fendithiodd randir fechan Israel â phelydrau lled ddysglaer o oleuni yn bur fore; a pharodd i'r goleuni hwnw gryfhâu a chynnyddu o hyd nes o'r diwedd y daeth yn ganol dydd perffaith, a haul dadguddiad i dywynu mewn nerth a dysgleirdeb yn Mherson a gwaith y Messïah mawr. Y mae holl "oleuni gwybodaeth gogoniant Duw" yn llewyrchu yn ei holl eglurder "yn wyneb Iesu Grist." Y mae y wybodaeth hono am y Duw anfeidrol oedd yn anghyrhaeddadwy drwy yr oesoedd i ddeall a rheswm anianol—gwybodaeth am Dduw y Tad yn ei gyfammod, ei gariad, ei ras,—gwybodaeth am Dduw y Mab, yn ei Berson, ei swyddau, a'i waith,—a gwybodaeth am Dduw yr Ysbryd Glân, yn ei ddoniau, ei ddylanwadau, a'i weithrediadau,—mae y wybodaeth hon yn awr wedi ei dwyn i oleuni ac eglurder yn "mywyd hardd a geiriau gwir" y dyn Crist Iesu. Ac y mae holl gynnwys y wybodaeth hon, wedi ei grynhoi ynghyd mewn llyfr, a'r llyfr hwnw ydyw y Bibl, llyfr ein crefydd ni, a llyfr yr Ysgol Sabbothol. Y mae y llyfr hwn yn awr yn dal cyffelyb berthynas rhyngom ni â Christ ag y mae Crist yn ei ddal â Duw.

Fel mai yn Nghrist yn unig y mae y wir wybodaeth am Dduw i'w chael, felly hefyd yn y Bibl yn unig y mae y wir wybodaeth am Grist i'w chael. Dyger ymaith Grist ac fe ddygir ymaith ein gwybodaeth am Dduw, a dyger ymaith y gair ac fe ddygir ymaith Grist. Dyfod i wybodaeth o'r gair ydyw dyfod i wybodaeth am Grist; a dyfod i wybodaeth am Grist ydyw dyfod i wybodaeth am Dduw. Pan yn dyweyd, gan hyny, fod amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol yn cynnwys dwyn y deiliaid i wybodaeth am yr Arglwydd, gwelir mai yr hyn a olygir ydyw eu dwyn i gydnabyddiaeth agos a pharhâus â chynnwys y Bibl, gan eu dysgu a'u hegwyddori yn ei wirioneddau Dwyfol. Ac y mae hyn yn cynnwys ar unwaith, bron, yr oll o waith ac offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol. Os mai yn *ngair* yr Arglwydd y mae y wir wybodaeth am dano yn unig i'w chael,—mae yn amlwg yn

(1.) Fod eisieu dysgu *darllen* y *gair*. Ac ar y cyntaf, fe allai mai dyma ydoedd prif os nad unig aman yr Ysgol Sabbothol: dysgu y werin Gymreig, yn blant a rhai mewn oedran, i ddarllen gair Duw. Ac y mae yn ddiau nas gellir rhoddi gormod o bris ar y rhan hon o'i gwaith, hyd yn nôd y dyddiau presennol. Y mae yn bosibl derbyn bendith, nid yn unig wrth ddarllen gair yr Arglwydd, ond hyd yn nôd wrth ddysgu ei ddarllen Y mae dim ond llythyrenu enw yr Arglwydd wedi bod cyn hyn yn foddion i greu ofn, a pharch, a chariad yn mynwes llawer plentyn tuag at yr enw hwnw, ac i ddwysâu y teimlad addolgar o'i fewn. Gan hyny, pe na byddai dim mwy yn cael ei wneyd yn ein Hysgolion Sabbothol y dyddiau hyn na dysgu rhai i ddarllen gair Duw, byddai yn werth i ni ei dal i fyny, ac ymdrechu o blaid ei llwyddiant.

(2.) Rhan arall bwysig o waith yr Ysgol Sabbothol ydyw *dysgu allan, a thrysori y gair yn y cof*. Yr oedd craffder yn gystal a chrefyddolder Mr. Charles o'r Bala, sylfaenydd yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru, yn peri iddo weled nad oedd dysgu darllen y Bibl ddim yn ddigon; ac felly fe benderfynodd ymgyrhaedd at y nôd uwch a phwysicach hwn. A rhan werthfawr a phwysig iawn yn ddiau o waith yr Ysgol ydyw llenwi meddyliau yr holl ddeiliaid, hen ac ieuainc, â geiriau gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd, ac felly eu cael i safle fwy manteisiol i suddo i'r galon, lle y gallont ymagor, ymledu a dwyn ffrwyth. Y galon ydyw cartref priodol gair Duw; yno yn unig y gall fyw, a rheoli, a llywodraethu. Ond y "ffordd unionaf, er mor arw, i'r ddinas gyfanneddol" hono ydyw, ffordd côf; a dymunol fyddai i bawb o honom gadw teithwyr priodol ar y ffordd yn barhâus, sef geiriau ac ymadroddion yr Arglwydd, yn adnodau a phennodau, i deithio yn wastadol ar hyd y ffordd sydd yn arwain i'r galon. Ond er mor werthfawr ydyw y rhan hon o waith yr Ysgol Sabbothol, y mae rhan arall bwysicach na hi yn bod, sef,

(3.) Dysgu y deiliaid i *ddeall* y Bibl. Wrth ddeall y Bibl y golygaf yn fwyaf neillduol, nid yn unig deall ystyr ei eiriau a'i frawddegau, a'u cysylltiadau â'u gilydd, ond deall a gwybod yr athrawiaethau mawrion sydd yn neillduol i'r Bibl fel dadguddiad oddiwrth Dduw. Y gwirioneddau am Dduw yn ei gariad a'i ras—am ddyn yn ei bechod a'i drueni—am Grist yn ei Berson a'i waith—am yr Ysbryd Glân yn ei ddoniau nefol—a'r bendithion gwerthfawr sydd yn cael ei sicrhâu i ddyn trwy ffydd yn Nghrist, megys cyfiawnhâd, mabwysiad, ailenedigaeth, sancteiddhâd, ac felly ymlaen—dysgu deall y gwirioneddau mawrion hyn, dyma yn awr ydyw un o ranau pwysicaf a mwyaf neillduol gwaith yr Ysgol Sabbothol. Ac er fod cryn lawer wedi ei wneyd yn barod yn y cyfeiriad hwn yn ein plith fel Cyfundeb, diau fod tir lawer i'w ennill eto. Mae lle cryf i ofni fod llawer o ieuenctyd ein cynnulleidfäoedd a'n Hysgolion Sabbothol, os nad yn wir ein heglwysi hefyd, yn dra anwybodus o wirioneddau mwyaf hanfodol crefydd. Er gwybod am y fath wirioneddau, nid ydynt erioed wedi cyffroi eu sylw, na deffro eu meddylgarwch. Ac erbyn hyn, y mae bron yr oll o addysg ddyddiol ein gwlad yn addysg hollol fydol *(secular)*, ac felly y cyfrifoldeb o addysgu yr ieuenctyd yn egwyddorion crefydd yn disgyn yn drymach ac yn fwy uniongyrchol ar yr Ysgol Sabbothol. Ac os na bydd terfynau yr Ysgol Sabbothol yn gyfled â therfynau yr ysgolion dyddiol, nis gellir dysgwyl i addysg fydol beidio cael ei chamddefnyddio mewn llawer o amgylchiadau, ac felly fod yn fwy o niwed nag o les i'w pherchenog. Po fwyaf y manteision i gyfranu addysg fydol, mwyaf diwyd ac ymdrechgar y dylai yr Ysgol Sabbothol fod yn cadarnhâu y sylfaen, yr hon sydd yn anghenrheidiol er rhoddi nerth, cyfanrwydd, a phrydferthwch i'r holl oruwchadeiladaeth. Gan hyny, bydded i athrawon ac athrawesau, ac eraill o aelodau yr Ysgol Sabbothol, ddeffro at eu gwaith, ac ymaflyd o ddifrif yn eu dyledswyddau. Gan fod y byd wedi deffro i wneyd ei ran ef yn addysgiaeth y genedl, bydded i ninnau, fel aelodau o eglwys Dduw, trwy gyfrwng yr Ysgol Sabbothol, ddeffro i wneyd ein rhan ninnau, ac ymdrechu dwyn yr holl ddeiliaid i feddiant o wybodaeth am yr Arglwydd.

II. Y mae amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol yn cynnwys *dwyn yr holl ddeiliaid i roddi ufudd-dod i'r Arglwydd.*

Dyma, yn ddiau, ydyw coron a pherffeithrwydd gwaith ac offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol, ac nid dim llai na hyn. Nid yw pobpeth arall a wneir ganddi, megys dysgu darllen, cofio, a deall gair yr Arglwydd, ddim ond rhan o'r moddion sydd ganddi tuag at gyrhaedd yr amcan hwn. Y mae pob math o wybod am yr Arglwydd i fod mewn trefn i ufuddhâu i'r Arglwydd,—pob deall ar wirioneddau'r Bibl i fod mewn trefn i gadw yn ymarferol yr hyn a orchymynant i ni. Nid gwybodaeth farw ydyw ein gwybodaeth am yr Arglwydd i fod, ond gwybodaeth i gynnyrchu bywyd, a hwnw yn fywyd ysbrydol, goruchel, a phur. Nid gwirioneddau i oleuo y pen, ac i fod yn ymarferiad i ddealltwriaeth dyn yn unig, ydyw gwirioneddau'r gair, ond gwirioneddau âg iddynt amcan a thuedd ymarferol: cael "dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda." Gwelir felly mai yr un ydyw amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol âg amcan mawr gweinidogaeth yr efengyl. Nid llawforwyn yn unig i'r efengyl ydyw, ond rhan o'r efengyl ei hunan. Mae yn wir mai "trwy ffolineb pregethu" y mae Duw "wedi gweled yn dda gadw y rhai sydd yn credu;" ond byddai yn dda cofio nad ydyw y pregethu hwnw ddim wedi ei gyfyngu yn gyfangwbl i'r pulpud, ac i un dosbarth o ddynion. Y mae y gwaith mawr o ennill dynion at Grist, a'u dwyn i ufudddod ffydd yr efengyl, wedi ei ymddiried i holl eglwys Dduw; ac ni fedd yr eglwys yr un sefydliad mwy manteisiol i ymgyrhaedd at hyny na'r Ysgol Sabbothol. Y mae ei hathrawon a'i hathrawesau, pan wedi crynhoi ynghyd eu dosbarthiadau, os wedi sylweddoli amcan uchaf eu gwaith, yn llafurio mor wirioneddol yn maes ëang y Duwdod â phe byddent yn pregethu yr efengyl i gynnulleidfäoedd mawrion. Yr un nôd sydd ganddynt hwy yn eu dosbarthiadau ag sydd gan y pregethwyr yn y pulpudau, sef, cael eu holl ddysgyblion "gwedi puro eu heneidiau i ufuddhâu i'r gwirionedd trwy yr Ysbryd;" nid yn unig eu cael yn feibion ac yn ferched moesol, sobr, rhinweddol, uniawn, ac anrhydeddus fel aelodau o gymdeithas, ond eu cael i roddi ufudd-dod gwirioneddol i'r Arglwydd Iesu, ac i gadw ei holl orchymynion oddiar gariad ato, ac ymlyniad wrtho; nid yn unig cael pob dysgybl yn y dosbarth, ond *yr oll* o bob dysgybl—ei ewyllys, ei serch, a'i gydwybod—yn ddarostyngedig i ewyllys ac awdurdod Crist. Ac os na cheir hyn, pa beth bynag arall fyddys wedi ei gael, ni phetruswn ddyweyd y bydd dyben eithaf yr Ysgol Sabbothol heb ei gyrhaeddyd, a'i gwir waith heb ei gwblhâu. Ni ddylai yr un athraw fesur ei waith a'i lwyddiant wrth y nifer o wersi a gyfrana i'r rhai sydd dan ei ofal, nac wrth y cynnydd a wna ei ddysgyblion mewn gwybodaeth bynciol o athrawiaethau y Bibl, ond yn ol y graddau ag y bydd y wybodaeth sydd ganddynt yn dylanwadu ar eu bywyd a'u buchedd. Os bydd eu gwybodaeth am Dduw yn eu dwyn i ofni ac i garu Duw—eu syniad am bechod yn eu dwyn i gasâu ac i ymwrthod â phechod—eu gwybodaeth am Grist yn peri iddynt ymostwng i lywodraeth Crist —a'u gwybodaeth o athrawiaethau yr efengyl yn eu gwneyd yn fwy ufudd, addfwyn, gostyngedig, a hunanymwadol, yna fe all y cyfryw athraw "ddiolch i Dduw a chymeryd cysur," gan benderfynu fod ei waith a'i ymdrechion yn llwyddo, a'i lafur yn cael ei fendithio â chnwd toreithiog o ffrwyth priodol iddo ei hun.

III. Y mae amcan uchaf yr Ysgol Sabbothol yn cynnwys *cael yr holl ddeiliaid i feddu dirnadaeth ddwyfol ac ysbrydol o feddwl ac ewyllys yr Arglwydd.*

Dyma o bosibl y safle uchaf a mwyaf dyrchafedig y gall creadur o ddyn byth ymgyrhaedd iddi, nid yn unig yma ar y ddaear, ond yn y nefoedd byth: meddu dirnadaeth Ddwyfol o bethau Dwyfol,—gwybodaeth ysbrydol o wirioneddau ysbrydol. "Nyni," medd Paul, "a dderbyniasom, nid ysbryd y byd, ond yr Ysbryd sydd o Dduw, fel y gwypom y pethau a râd roddwyd i ni gan Dduw." Gwybod pethau ei ddoethineb, pethau ei gynghor, ei gyfammod, a'i ras, a hyny, nid trwy "ysbryd y byd," ond gwybod pethau Duw trwy Ysbryd Duw. Y mae y gwybod hwn yn dra gwahanol o ran ei natur i'r *gwybod* a fu genym o dan sylw gyntaf. Y mae yn bosibl i ddyn gyrhaedd y gwybod hwnw drwy weithrediad ei gynneddfau naturiol ei hunan. Yn ngoleuni yr egwyddorion tragywyddol sydd wedi eu hysgrifenu ar ei natur, yn gystal ag yn ngoleuni y dadguddiad allanol a roddes Duw o hono ei hun yn ei greadigaeth, ei ragluniaeth, a'i air, gall dyn ymgodi oddiwrth ei feddwl ei hun at feddwl Duw, a dyfod i feddiant o wybodaeth led helaeth a chywir am dano. Ond tuag at wybod "dyfnion bethau doethineb Duw," pethau ei gariad, ei ewyllys, a'i benarglwyddiaeth, y prif, ac yn wir, yr *unig* gymhwysder ydyw, ufudd-dod i'r Arglwydd,—ewyllysiad didwyll i gyfaddasu yr ymarweddiad i ewyllys Duw. Y mae yr ewyllysiad gwanaf i ufuddhâu i ewyllys Duw yn eginyn parotoad i wybodaeth ysbrydol o'r ewyllys hono, yn ol dysgeidiaeth Crist ei hunan. "Os ewyllysia neb wneuthur ewyllys fy Nhad, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth, ai o Dduw y mae hi." Nid ydyw gwir-

ioneddau crefydd, fel gwirioneddau gwyddoniaeth, i'w darganfod a'u dirnad drwy rym deall a rheswm anianol yn unig. Tuag at dreiddio i mewn i ddirgelion natur, a bod yn llwyddiannus i ddarganfod ei gwirioneddau aneirif hi, y cwbl sydd yn ofynol ydyw meddu ar gynneddfau meddyliol cyfaddas a phriodol, sef meddwl treiddgar, rheswm cryf, a deall bywiog. Nid oes gan ansawdd y galon ddim i'w wneyd o gwbl â'r cwestiwn. Gall y dyn mwyaf aflan ei fuchedd fod mor llwyddiannus â neb yn y gangen hon o wybodaeth. Y mae Duw fel pe byddai wedi trefnu iddi fod fel yr haul, i dywynu ar y drwg a'r da, neu fel y gwlaw i ddisgyn yn ddiwahaniaeth ar y cyfiawn a'r anghyfiawn. Ond nid felly y mae gyda golwg ar wirioneddau mawrion ac ysbrydol crefydd. Y mae Duw wedi "darparu" y rhai hyn "i'r rhai a'i carant ef," fel ffrwyth naturiol eu hufudd-dod i'w air a'i ewyllys. "Pob un a'r sydd yn caru Duw," medd Ioan, "o Dduw y ganed ef, ac y mae efe," ac efe yn unig, "yn adnabod Duw." "Dirgelwch yr Arglwydd," medd y Salmydd, "sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef." Ac medd Crist ei hunan wrth ei ddysgyblion, "Pob peth a'r a glywais gan fy Nhad, a hysbysais i chwi." Paham hwy, tybed? Wel, am eu bod "*yn gyfeillion*,"—am fod Crist yn eu caru hwy, a hwythau yn aros yn ei gariad ef.

Y mae hwn yn wirionedd y carwn i'n holl athrawon ac athrawesau ei gofio yn wastadol, sef fod pob gronyn o ufudd-dod i'r Arglwydd a gynnyrchir yn y rhai sydd dan eu gofal, pob ewyllysiad didwyll i wneuthur ewyllys Duw, yn gymhwysder i wybod yr ewyllys hono, yn fynedfa sicr i oleuni mwy ar "ddyfnion bethau Duw." Trwy ddyfod i garu ac i wneuthur y gwirionedd, dygir hwy i undeb â'r gwirionedd, yr hwn undeb a fydd iddynt yn ffynnonell gwybodaeth newydd o hyd. A pho wresocaf fydd eu cariad, dyfnaf oll fydd eu dirnadaeth; po gryfaf eu serch, ëangach a fydd eu gwybodaeth. "Yr hwn sydd yn gwneuthur y gwirionedd, sydd yn dyfod i'r goleuni," hyny ydyw, i mewn ymhellach iddo, gan dreiddio yn ddyfnach i'w gynnwys, "fel yr eglurhäer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt."

A dyna ydyw prif waith yr Ysgol Sabbothol, tywys y deiliaid i'r goleuni, trwy eu dwyn yn gyntaf i wybod am yr Arglwydd, ceisio yn ddilynol eu cael i roi ufudd-dod i'r Arglwydd; a thrwy yr ufudd-dod hwnw arweinir hwy yn raddol, eto yn sicr a difeth, i oleuni mwy ar bethau mawrion meddwl ac ewyllys Duw, nes y deuant o'r diwedd i feddu dirnadaeth glir ac ysbrydol o'r ewyllys aruchel hono, yr hyn, fel yr awgrymwyd eisoes, yw y tir uchaf y gall dyn byth ei gyrhaeddyd.

Tuag at fod yn llwyddiannus gyda'r fath amcan goruchel, rhaid cael dylanwadau yr Ysbryd Glân. Nid oes neb na dim arall a all effeithio y fath gyfnewidiadau pwysig, a chyrhaeddyd y fath amcan gogoneddus. Er meddu pob dawn a thalent ac athrylith ddynol i addysgu, aneffeithiol fydd ein Hysgolion i gyrhaedd eu dyben uchaf heb yr Ysbryd Glân. Ysbryd y gwirionedd yn unig a all agor llygaid y meddwl, tynu y gorchudd oddiar y galon, a thywys yn ysbrydol "i'r holl wirionedd." A chysur cryf ydyw i ni wybod fod y Dysgawdwr digymhar hwn i'w gael yn ei holl ddylanwadau trwy ddim ond gofyn am dano. "Gofynwch," hyd yn nôd am yr Ysbryd Glân, "ac efe a roddir i chwi; ceisiwch ef, a chwi a'i cewch." Wel, gweddïwn yn ddyfalach am dano, a thaflwn ein heneidiau yn fwy llwyr i ddeisyfiad mawr ac oll-bwysig yr hen bennill,—

"O anfon di yr Ysbryd Glân,
Yn enw Iesu mawr;
A'i weithrediadau megys tân,
O deued ef i lawr."

Cyn terfynu, dymunwn wneyd yr hyn y dywedir i Hezeciah y brenin ei wneyd yn ngeiriau ein testun,—"dyweyd wrth fodd calon y Lefiaid, y rhai sydd yn dysgu gwybodaeth ddaionus yr Arglwydd;" a cheisio annog, cyfnerthu, a chalonogi pawb sydd yn llafurio o blaid yr amcan goruchel hwn, ac yn arbenig athrawon ac athrawesau ein Hysgolion Sabbothol. Y mae eich gwaith, fy nghyfeillion, yn waith ardderchog. Buasai yn anmhosibl i chwi sefydlu eich galluoedd ar ddim mwy teilwng a gogoneddus. Y mae yn orchwyl ag y byddai yn dda gan angel o'r nef ddyfod yma i'w gyflawni. Perthyna mwy o wir anrhydedd iddo na dim a ennillwyd erioed gan faeslywyddion enwocaf ein byd. Mae ei ganlyniadau yn rhyfedd tu hwnt i bob dirnadaeth, ac yn ymestyn ymlaen i bellderau tragywyddoldeb. Gan hyny, daliwch ymlaen, ac ymgalonogwch, gan "ymnerthu yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef." Gweddïwch lawer dros bob un yn bersonol o wrthddrychau eich gofal, ac na roddwch i fyny nes cael lle i gredu fod eu gwybodaeth am yr Arglwydd wedi eu harwain i roi ufudd-dod i'r Arglwydd, ac felly eu bod yn feddiannol ar yr unig gymhwysder a'u galluoga i fwynhâu dirnadaeth ysbrydol o ewyllys yr Arglwydd. Ar yr un pryd, dichon y bydd yn rhaid i chwi noswylio, a myned i'r bedd i orphwys, cyn gweled llwyddiant ar eich "gwaith a'ch llafurus gariad." Ond na fydded i chwi wangaloni ac ymgilio o'r maes oddiar

dybiaeth fod eich ymdrechion yn gwbl aflwyddiannus. Eich gwaith chwi ydyw dwyn "hâd gwerthfawr," "hau gerllaw pob dyfroedd," a gadael y canlyniadau i Dduw. Ar diroedd anfarwoldeb draw, gan ddyfod chwi a ddeuwch eto mewn gorfoledd, dan gludo eich ysgubau, sef eneidiau gwerthfawr wedi eu cadw, y rhai a ennillwyd at Grist drwy eich llafur chwi pan yma ar y ddaear. "Am hyny, fy mrodyr" a'm chwïorydd "anwyl, byddwch sicr a diymmod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd."

---

## BYWYD IESU.

*Gan y Parch.* W. GRIFFITH, *Llansantffraid Glyn Dyfrdwy.*

BYWYD! y mae yn anhawdd dyweyd beth ydyw. Y mae cymaint o ddirgelwch ynglŷn âg ef fel nas gall yr athronydd mwyaf meddylgar roddi darnodiad o hono. Tybygid nad oes dim mewn bod ag y mae cymaint o ddirgelwch, ac sydd hefyd wedi peri cymaint o anhawsder i'r meddwl dynol, â'r hyn a elwir genym yn *fywyd* a *marwolaeth.* Y mae y naill a'r llall yn llawn o ddirgelwch. Y mae'r mwyaf eiddil ei ddirnadaeth yn gwybod cymaint yn eu cylch â'r athronydd penaf sydd yn fyw y fynyd hon. Cymaint a ellir ei ddyweyd am fywyd yw, fod ei ymddangosiad yn peri i ni edrych arno yn un o'r pethau rhyfeddaf a grëwyd neu a ymddangosodd erioed. Y mae gallu, doethineb, a daioni y Brenin Mawr i'w canfod yn amlwg ynddo. Nid oes dim sydd yn ymddangos yn fwy cyffredinol. Anmhosibl yw myned trwy un dyffryn, cwm, na chilfach, nad yw yr hyn a elwir genym yn fywyd yn gwneyd ei ymddangosiad; ond nid yw hyny yn rhoddi y cynnorthwy lleiaf i amgyffred y dirgelwch sydd ynddo. Teimlwn fod mwy o Dduw i'w ganfod ynddo na dim arall a ymddangosodd erioed. Ymha le bynag y canfyddir bywyd, gellir dyweyd ei fod yn *introducio* ein Crëwr i ni mewn modd arbenig.

Ymddengys fod y byd yn anaddfed, neu yn anmharod, i dderbyn y graddau uchaf o fywyd ar unwaith. Ceir yr awgrym cyntaf am ei ymddangosiad yn fore iawn yn hanes y cread, sef y bywyd llysieuol; ac y mae ymddangosiad y bywyd hwnw yn awgrymu ymddangosiad bywyd arall o radd uwch, sef y bywyd anifeilaidd; ac y mae'r bywyd anifeilaidd drachefn yn awgrymu ymddangosiad bywyd arall o radd uwch nag yntau, sef y bywyd dynol. Golygfa ryfedd ydoedd hono pan y tarddodd holl lysiau y maes drwy nerth y gair BYDDED, nes peri i'r ddaear ymliwio gan wyrddlesni ymhob cyfeiriad; a diammheu pe buasai dynolryw wedi eu creu yn flaenorol i hyny, y buasai y fath olygfa yn peri syndod mawr iddynt; ac hwyrach y buasai iddynt gwestiyno eu gilydd gyda golwg ar yr amcan oedd i'r cyfan, a dyfod i'r penderfyniad fod ymddangosiad y fath fywyd yn brophwydoliaeth am ymddangosiad rhyw fywyd arall; ac felly yr ydoedd. Cyn hir gwelid yr anifail yn gwneyd ei ymddangosiad, a thrwy hyny yn gwneyd defnydd o'r bywyd a ymddangosodd yn flaenorol iddo; y naill fywyd yn myned yn aberth i'r llall; a gellir dyweyd yr un peth am berthynas yr anifeilaidd â'r dynol. Ac fel yr oedd pob bywyd a ymddangosodd yn flaenorol i'r bywyd dynol yn awgrymu ac yn brophwydoliaeth am ei ymddangosiad ef, felly yr oedd yntau yn awgrymu—yn cyfeirio y byd at—ïe, yn brophwydoliaeth iddo am ymddangosiad bywyd o radd uwch o ddigon nag yntau, sef bywyd Iesu —bywyd y Duw-ddyn, yr hwn a wnaeth ei ymddangosiad yn nghyflawnder yr amser.

Ac y mae yn deilwng o'n sylw y gwahaniaeth mawr a ganfyddir gyda golwg ar ymddangosiad y naill a'r llall. "Bydded" Duw oedd yn ddigon i beri ymddangosiad y naill—dim ond gair o'i enau, dyna y ddaear yn gweddnewid trwyddi. Ond *ni* "*Bydded*" dyn: na, yr oedd ymddangosiad y bywyd hwn, nid yn ffrwyth gorchymyn, ond yn ffrwyth ymgynghoriad. Yn lle "Bydded," "Deuwn, gwnawn ddyn;" yr oedd yma arbenigrwydd mawr yn cael ei ddangos, ac yr oedd arbenigrwydd ei gread yn arddangos mawredd a phwysigrwydd y bywyd oedd i wneyd ei ymddangosiad; bywyd yn tarddu o undeb y materol a'r ysbrydol. Ffurfiwyd Adda o bridd y ddaear, a rhan ddaearol a marwol a fuasai cyhyd â'r ddaear, oni b'ai i'w Grëwr ddwyn yr ysbrydol i undeb â'r rhan faterol o hono; ac o'r *undeb* yna y tarddodd ei fywyd. Nis gwyddom paham yr unwyd pethau mor wahanol o ran eu natur i beri ymddangosiad y fath fywyd, os nad oedd hyny yn cael ei fwriadu i ddysgu y byd am ryw undeb mwy rhyfedd, mwy dirgel, a mwy gogoneddus, sef undeb y Dwyfol â'r dynol yn Mherson y Mab. Y mae yn ddiammheu fod tarddiad bywyd o undeb y materol a'r ysbrydol yn mherson yr Adda cyntaf yn brophwydoliaeth i'r byd am darddiad bywyd ysbrydol a thragywyddol o undeb y Dwyfol â'r dynol; oblegid pan eu hunwyd yn Mherson y Mab, fe darddodd bywyd newydd yn ymherodraeth Duw nad ymddangosodd ei gyffelyb erioed o'r blaen, ac nid ymddengys ei ragorach i dragywyddoldeb

mwy: bywyd Iesu, bywyd y Duw-ddyn. Dyma yr unig fywyd a ymddangosodd erioed sydd yn drech na marwolaeth. Yr oedd marwolaeth yn drech na phob bywyd a ymddangosodd yn flaenorol iddo. Yr oedd bywyd Adda, mae yn wir, yn un aruchel a gogoneddus—yn deilwng o'r Duw a roddes fôd iddo. Dyna efe yn greadur ar lun a delw ei Greawdwr. Y mae ei Luniwr, nid yn anfon Gabriel i wneyd, ond yn anadlu o hono ei hun i'w ffroenau anadl einioes, "a'r dyn a aeth yn enaid byw" yn y fan.

Ond yr oedd yn mharadwys bren heblaw pren y bywyd, sef pren gwybodaeth da a drwg, neu bren marwolaeth; ac yr oedd hwnw yn cyd-dyfu yn nghanol yr ardd â phren y bywyd; a'r foment y cyffyrddodd y dyn âg ef, daeth ei fywyd i gyffyrddiad â marwolaeth; ac wele farwolaeth yn ddigon nerthol i wywo y bywyd mwyaf aruchel a ymddangosodd yn nghreadigaeth y byd. Dyma hanes bywyd yn ei berthynas â marwolaeth byth er hyny, o'r bywyd iselaf hyd y bywyd mwyaf aruchel: y mae marwolaeth yn ei wywo, ac yn ennill goruchafiaeth arno. Edrychwn ar y bywyd llysieuol. Yn mis Mai, gallwn dybied mai yn meddiant bywyd y bydd y deyrnwialen mwy, ac mai efe sydd i fod byth ar yr orsedd; ond erbyn Hydref, ceir profion eglur fod marwolaeth yn llechu wrth ei wraidd; a buan y cyrhaeddir yr orsedd ac y meddiennir y deyrnwialen ganddi. Yr un modd y gellir dyweyd am yr anifeilaidd a'r dynol. Gwelir y llanc pump ar hugain oed heddyw yn gadarn a nerthol. Y mae fel Goliath ymysg ei frodyr a'i gyfeillion, yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na hwynt oll, ac wedi ei fendithio â nerth corfforol tu hwnt i neb yn y fro; ei holl ysgogiadau yn dangos yn amlwg ei fod megys yn teyrnasu mewn bywyd. Ond un diwrnod, dacw yr un yna wedi ei gornelu gan afiechyd, yn suddo yn ddyfnach, ddyfnach mewn cystudd; a chyn hir dacw ei fywyd yn cael ei wywo yn llwyr gan farwolaeth; ac ymhen byr enyd gwelir ef yn cael ei gludo yn gorff marw ar elor tua thŷ ei hir gartref. O y fath gyfnewidiad! Beth bynag oedd mesur y nerth a feddiannai, daeth i gyffyrddiad â'r hyn oedd yn meddu digon o nerth i'w orchfygu yn llwyr ac am byth. Fel hyna y mae pob bywyd a ymddangosodd erioed yn y byd hwn yn rhoi ffordd i farwolaeth.

Ond fe drefnwyd yn arfaeth Duw i fywyd ymddangos yn y byd hwn sydd yn anfeidrol drech na marwolaeth, yr hwn a'i gwrthweithia ymhob ffurf arni. Y bywyd hwn a darddodd yn yr ymgnawdoliad; ac yn marwolaeth y Duw-ddyn safwyd modd i'r bywyd yna ddylifo o'i Berson gogoneddus ef i fynwesau myrdd myrddiynau o'i greaduriaid; ac y mae'r bywyd heddyw yn cael ei ddal o'n blaen a'i gynnyg i ni yn yr efengyl. "Megys y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol;"—bywyd fydd yn para yn fywyd yn angeu, gan nad all un angeu yn ymherodraeth Duw ei wywo.

(*I barhâu.*)

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## JOHN KITTO, D.D.

### PENNOD I.

Y MAE hanes bywyd John Kitto yn un o'r rhai mwyaf addysgiadol ac annogaethol i ddiwydrwydd a dyfalbarhâd yn wyneb anhawsderau, ac yn cyflwyno i'n sylw ddyn wedi gweithio ei ffordd drwy yr anfantais fwyaf i gyflwr o ddefnyddioldeb ac anrhydedd.

Ganwyd ef yn Plymouth ar y 4ydd o Ragfyr, 1804. Yr oedd ei rieni wedi dechre ar eu byd priodasol mewn amgylchiadau pell o fod yn anghysurus. Saer maen oedd ei dad, yr hwn oedd ddeallgar a medrus yn ei alwedigaeth; a thra nad oedd ond ieuanc mewn cymhariaeth, yr oedd trwy ei fedr a'i ymroad wedi dyfod yn *master-builder* o gryn rifedi nid bychan. Ac yr oedd ei fam yn cael ei nodweddu gan gallineb, bywiogrwydd, a serchogrwydd. Eithr ei dad, ysywaeth, a syrthiodd yn ysglyfaeth i anghymedroldeb, a thrwy hyny a ddygodd drueni nid yn unig arno ei hun, ond ar ei deulu. Ond John, yr hwn oedd y plentyn hynaf, a gymerwyd gan ei nain o du ei fam pan yr oedd yn bedair blwydd oed, a thrwy hyny a waredwyd yn nhymmor cynnaraf ei fachgendod rhag dyoddef y drygau cysylltiedig â chartref dyn meddw. Yr oedd ei nain, Mrs. Picken, yn wraig synwyrol a hynaws; ac yr oedd hi a'i hŵyr yn eu teimlo eu hunain yn ddedwydd yn eu gilydd. Byddai efe trwy ei oes yn edrych ar yr amser a dreuliodd gyda'i nain fel llanerch werddlas a ffrwythlawn o fewn i anialwch profedigaethau ei ieuenctyd. Yr oedd efe fel bachgen yn fwy meddylgar na chwareugar, ac fel hyn nid oedd ei fywyd o lonyddwch gyda'i nain yn anhyfryd iddo. Eis-

teddai yn foddlongar wrth ei hochr yn ei neulofft fechan dwt, gyda nodwydd yn ei law yn debyg i eneth yn gwnïo, a chan wrando yn foddus ar ei hystoriau. Difyrus iawn hefyd oedd eu rhodiadau ar hyd llwybrau'r meusydd, pryd y byddai'r nain yn siarad wrth yr ŵyr am gariad a thiriondeb y Tad nefol. Pa mor bell yr oedd gwersi crefyddol Mrs. Picken yn myned, nid ydym yn gwybod. Hi a fu yn llwyddiannus, pa fodd bynag, i feithrin yn meddwl y bachgen barch i'r Bibl ac i gysegr a gwasanaeth yr Arglwydd.

Yn fuan daeth Johnny bach i ddeall fod adroddiadau hanesyddol i'w cael drwy ffyrdd eraill heblaw gwrando. Efe a ddysgodd ddarllen; ac yn siop un Mrs. Barnicle, fel ei gelwid, yr oedd yn cael llyfrau ceiniog, y rhai oedd iddo ef yn llawer mwy deniadol na dim cacenau melusion neu goesau siwgr. Ac mor awyddus oedd efe i fwynhâu ei alluogrwydd i brynu, fel y gwnaeth ymgais, yn fychan fel yr oedd, i fod yn awdwr ei hun. Yr oedd ganddo gefnder ieuengach nag ef âg eisieu prynu llyfr o historaeon am geiniog, ac efe a ysgrifenodd histori iddo, gan ei haddurno â phictiwr wedi ei baentio ganddo. Fel hyna y dechreuodd hynt awdurol John Kitto.

Cyn hir yr oedd raid i nwyddau llenyddol Mrs. Barnicle wneuthur lle i gyfansoddiadau gwell a mwy sylweddol. Efe a aeth yn gwsmer i hen werthfainc llyfrau, ac i chwilio silffoedd cymydogion caredig, fel erbyn iddo gyrhaedd ei ddeuddeng mlwydd oed, ei fod yn berchen cynifer â deuddeg neu fwy o gyfrolau a ystyrid ganddo yn werthfawr iawn. Yn eu mysg yr oedd hen Fibl wedi ei argraffu yn nheyrnasiad y Frenines Elizabeth, a gweithoedd barddonol Spenser a Young. Ac mai nid brysiog ac arwynebol oedd ei ddarlleniad sydd amlwg oddiwrth y ffaith ei fod yn yr oedran ieuanc hwnw wedi ysgrifenu *indexes* helaeth i'w lyfrau. Yr oedd *Taith y Pererin* gan John Bunyan, fel y gellid dysgwyl, yn hoff lyfr ganddo; a cheid ef hefyd yn astudio hen lyfrau duwinyddiaeth, yr hyn a gyfrifid yn hollol anarchwaethus gan agos bawb o'i oedran ef.

Ond erbyn hyn daeth yn gyfnewidiad pruddaidd ar amgylchiadau Johnny. Trwy ryw amgylchiad annysgwyliadwy, collodd ei anwyl nain yr ychydig eiddo oedd ganddi; a bu raid iddi hi ac yntau ddychwelyd i'r cartref yr oedd meddwdod Kitto yr hynaf yn ei wneyd yn lle gresynus. Yr oedd dyddiau ysgol y bachgen bellach wedi myned drosodd. Ni bu yr holl rai hyny ond digon byr, yn cyrhaedd yn unig o'i wythfed i'w unfed flwydd ar ddeg, ac yn cael eu hattal yn fynych gan anhwyldeb, ac yn benaf gan gur tost yn ei ben. Pan adawodd efe yr ysgol, nid ydoedd, medd ef ei hun, "ond darllenydd canolig, ysgrifenydd salw, a rhifyddwr salwach." Yr oedd raid iddo yn awr helpio ei dad fel saer maen, neu edrych ar ol y plant ieuengaf gartref, tra yr oedd ei fam wedi myned allan i olchi er mwyn cael bara iddynt. Er hyn nid oedd efe y pryd hwn yn amddifad o bob mwynhâd. Yr oedd ystafell yn nèn y tŷ, un fechan, lòm, lychwinog; ond yr oedd yn cynnwys llyfrau John a'i gasgliad o gywreinion, a hono oedd ei lyfrgell gyntaf, lle y treuliodd efe lawer o oriau hapus yn y nos.

Myned ymlaen yn y modd hwn yr oedd y bachgen wedi iddo gyrhaedd ei dair blwydd ar ddeg, pan y cyfarfu amgylchiad âg ef a adawodd ei argraff ddu arno am ei oes. Ar y 13eg o fis Chwefror, 1817, pan yr oedd wedi myned gyda ei dad i adgyweirio tŷ mewn heol gul yn Plymouth, a elwir *Battle street*, wrth geisio camu oddiar yr ysgol i'r tô, efe a syrthiodd o uchder oedd yn bymtheg troedfedd ar hugain i'r palmant cèryg yn y buarth. Cymerwyd ef i fyny mewn cyflwr o ddideimladrwydd ac anwybyddiaeth, ac felly y parhaodd, oddigerth unwaith dros ychydig fynydau, am bythefnos o amser. Wedi iddo ddechre ymadfywio, cafodd nad oedd wedi tori asgwrn, na derbyn un archoll o bwys; ond yr oedd yn synu yn fawr fod ei geraint a i gyfeillion o'i amgylch yn hollol ddystaw heb siarad dim; ac efe a dybygai mai oddiar eu cydymdeimlad hynaws âg ef yn ei wendid yr oeddynt yn parhâu felly. Ymhen tipyn efe a wnaeth ymholiad ynghylch llyfr yr oedd efe wedi ei fenthyca ychydig amser cyn ei gwymp; ac yr oedd yn rhyfedd ganddo weled ei gyfeillion yn edrych ar eu gilydd ac yna arno yntau, megys mewn petrusder; ac o'r diwedd dyma un o honynt yn cymeryd llechen, ac yn ysgrifenu arni yr hysbysiad gofynedig. "Paham yr ydych yn *ysgrifenu* fel hyn?" gofynai'r bachgen dyoddefus; "paham na wnewch chwi siarad? Siaredwch! siaredwch!" Drachefn yr oedd yno y naill yn edrych i wyneb y llall, ac yn siarad rhywbeth yn ddystaw wrth eu gilydd, fel y meddyliai efe. Nis gallesid attal y gwirionedd brawychus oddiwrtho yn hwy. Dyma yr ysgrifenydd yn cymeryd ei bwyntil drachefn, ac yn ysgrifenu geiriau nad oedd bosibl eu camesbonio: "Yr ydych yn fyddar." Oedd! yr oedd ei glyw wedi myned ymaith am byth ar y ddaear. Nid oedd efe mwyach i glywed seiniau cariad a thirionedd, nac i wrando ar lais addysg, nac i lawenychu yn mheroriaeth amrywiaethol natur. Ond rhyngodd bodd i'r Hwn sydd "yn attal ei wynt garw ar ddydd dwyreinwynt" lareiddio dirfawr ing y newydd blin i'r bachgen truan. Yr

oedd ei wendid yn peri fod dystawrwydd yn hyfryd iddo; a chyn iddo golli pob gobaith am adferiad ei glyw, yr oedd efe wedi cynnefino â'i aflwydd hwn. Ei aflwydd ymddangosiadol hwn a dylasem ddyweyd, o herwydd cafodd John Kitto ar ol hyn bob lle i gredu fod ei gwbl fyddardod, gyda'i adfydau eraill, yn cydweithio er daioni iddo.

Aeth wyth mis heibio cyn i'w iechyd gael ei adsefydlu yn gyflawn; ac yna, gan yr ystyrid fod y bachgen byddar yn anghymhwys at unrhyw waith, yr oedd efe yn cael crwydro neu wibio yn rhydd fel y mynai. Da iddo erbyn hyn ydoedd fod Rhagluniaeth wedi ei arwain i garu darllen a chwilio llyfrau. Yr oedd ei lyfrau wedi dyfod yn awr yn fwy o gyfeillion iddo nag erioed; ac yr oedd efe yn treulio ei oriau naill ai mewn darllen neu mewn ceisio chwanegu ei foddion tuag at fwynhâu hyny. Amrywiol oedd ei ddyfeisiau tuag at gael y ceiniogau anghenrheidiol i dalu am gael gwneuthur defnydd o'r *library* gyffredin yn y dref, neu i ychwanegu ychydig at ei ystorfa ei hun o lyfrau. Byddai yn paentio darluniau ac yn eu gwerthu, yn ysgrifenu *labels* destlus i'w dodi yn ffenestri masnachdai, ac ar lân y môr ar drai yn chwilio am ddarnau o raffau a haiarn a phethau eraill, am ba rai y derbyniai ychydig geiniogau. Prin oedd ei ymborth a llwm ei wisgiad; ond nid oedd newyn nac anwyd yn gallu diffodd ei awydd am wybodaeth, na gwanhâu dim ar ei ddyfalwch yn ei cheisio.

Yr oedd ei dad o hyd yn para yn gaethwas i chwant yr ymyfed, ac felly ei amgylchiadau yn myned yn fwyfwy cyfyng, a John yr hwn oedd yn awr yn bymtheg oed, yn gorfod dyoddef yn fawr o'r herwydd. Gwnaed cais, gan hyny, yn ddiarwybod iddo ef, am iddo gael ei dderbyn i dŷ y tlodion, neu y *workhouse*, yn Plymouth, yr hyn a gafwyd. Trwy dipyn o ddichell y dygwyd ef i mewn yno; o herwydd yr oedd gan y llanc ewyllys benderfynol a chariad anniffoddadwy at ryddid, fel nad oedd lle yn y *workhouse* yn gymeradwy ganddo mewn un modd. Ond yno yr aeth efe, yr hwn oedd ymhell o fod yn greadur hurt, difeddwl, gwasaidd, fel yr oedd y rhan fwyaf o'i gymdeithion yn nghartref y tlodion. Yn y dyddlyfr a gadwai yn y tylottŷ, efe a ysgrifenai,—

"Ni bum i erioed yn debyg i fechgyn eraill. Er amser fy nghodwm, wedi fy nghau oddiwrth orchwylion lawer yn allanol, yr oeddwn yn ymarfer fy hun i *feddwl*—i geisio am waith oddimewn i mi fy hun,—i ddwys feddwl; meddwl wrth ddarllen, wrth weithio, wrth gerdded. Am oriau ar oriau byddwn yn cadw draw oddiwrth bawb, a chyda fy mreichiau ymhlêth wedi ymneilltuo i mi fy hun, a cholli pob teimlad o bethau allanol yn ngororau awyrol dychymygion a gobeithion. Cerddwn oriau ar hyd y llwybrau mwyaf unigol y gallwn eu cael, wedi fy llyncu i fyny mewn myfyrdodau trwmfrydig."

Ac nid oedd y mater mwyaf oll yn cael ei fwrw allan o gyfryw fyfyrdodau y llanc byddar. Nid ymddengys fod y cyfnewidiad mawr o farwolaeth i fywyd wedi cymeryd lle eto yn enaid John Kitto, ond ceid ynglŷn âg ef ddifrifwch oedd yn arweiniol i hyny. Yr oedd gweddïo yn ddirgel, a darllen gair Duw, yn ymarferiadau parhâus ganddo; a phan yr oedd ei deimlad tyner yn troi yn ofidus oddiwrth y diystyrwch a arddangosid tuag ato gan lïaws ei gymdeithion, efe a geisiai ymgysuro yn yr adgof am drugaredd a chariad Duw; ac ysgrifenai,—

"A phaham yr wyf yn cael fy nhrin gydag anfri fel hyn? Am fy mod yn—anffodus. Ac a ydyw anffawd yn fy ngwneyd yn ddiystyr yn dy olwg di, O fy Nuw! Nac ydyw, canys nid wyt ti dderbyniwr wyneb. Ti a wrandewi ar y cardotyn ar y domen yn gystal ag ar y brenin ar ei orsedd. Er i ddyn fy niystyru, nid llai trugarog fyddi di. Maddeu fy ammheuaeth sydd wedi meiddio gosod terfyn i'th drugaredd, a bendithia fi â'r ymostyngiad fyddo yn cusanu y wialen â pha un yr wyt yn fy nghystuddio."

Ond pwy bynag a allai fod yn diystyru John Kitto, yr oedd Mr. Roberts, meistr y *workhouse*, yn ymddwyn yn garedig ato. Byddai efe yn caniatâu i John fyned allan yn achlysurol yn ystod y dydd, ac o'r diwedd caniataodd iddo gysgu yn ei hoff astudgell fechan yn nhŷ ei dad. Wedi i'r cyfaill hwnw fyned ymaith, cafodd gyfaill arall yn Mr. Burnard, yr hwn a barhaodd yn gyfeillgar a chymwynasgar iddo drwy ei oes. Yr oedd y boneddwr hwn yn dangos ei ofal am y bachgen tlawd yn y modd tyneraf a doethaf. Yr oedd yn rhoi benthyg llyfrau iddo o'i lyfrgell ei hun, yn awgrymu iddo faterion, a'r rhai hyny yn benaf o natur ysgrythyrol, i ysgrifenu arnynt, ac mewn modd caruaidd yn edrych dros ei gyfansoddiadau. Un diwrnod efe a ddymunodd arno ysgrifenu cyfres o ddarlithiau, i'w darllen i'r bechgyn oedd yn nhŷ'r tlodion. Nis gallai un cynnygiad roddi mwy o lawenydd iddo. "Beth!" ebe efe mewn math o hunanymddyddan, gan rwbio ei ddwylaw gydag hyfrydwch, "myfi, John Kitto, i ysgrifenu darlithiau i'w darllen i'r bechgyn! Ac y mae Mr. Burnard yn meddwl fy mod i yn alluog i wneuthur hyn!"

Yn y modd yma yr oedd gofal a thosturi Brenin nef yn amgylchynu'r bachgen hwn yn wyneb ei fyddardod a'i holl amddifadrwydd. Ond nid oedd y tosturi Dwyfol

yn gweled yn dda gadw oddiwrtho brofedigaethau a thrallodion, gan ei fod yn eu bwriadu er daioni iddo. Ar ol i Kitto fod oddeutu blwyddyn a hanner yn y *workhouse*, bu farw ei nain. Hi oedd y gyfeilles anwylaf ganddo, ac yr oedd ei alar am dani yn ddirfawr. "Y mae hi wedi myned ymaith am byth," ysgrifenai; "a dyna air sy'n peri ing tostiym. Ond nac ydyw am byth—dim ond am ychydig flynyddoedd ar y pellaf; ac mi allaf obeithio am ei chyfarfod hi drachefn; a dyma yw fy nghysur."

Bu efe yn nhŷ'r tlodion am oddeutu pedair blynedd. Am y rhan gyntaf o'r tymmor hwnw, dodwyd ef i wneuthur esgidiau *list;* ac ymhen amser, prentisiwyd ef gyda chrydd o'r enw Bowden. Bu y symudiad hwnw yn chwerw iawn i John Kitto. Yr oedd ei feistr yn ormesdeyrn annhrugarog a chreulawn. Byddai nid yn unig yn gorfodi'r llanc truan i weithio mwy na'i allu, ond hefyd yn ei gamdrin yn gorfforol. Byddai yn gyffredin yn gwneyd iddo weithio un awr ar bymtheg yn y dydd, ac weithiau deunaw awr allan o'r pedair ar hugain—o chwech o'r gloch y bore hyd hanner nos! Ond er gwaethaf hyn oll, y fath oedd ei awyddfryd i astudiaeth er cyrhaeddyd gwybodaeth, fel yr oedd yn lladrata amser oddiwrth oriau cwsg i geisio ymborth iachusol i'w feddwl; ac yr oedd ei gynnydd meddyliol yr amser hwn yn peri syndod iddo ei hun ar ol hyn.

Ymhen rhai misoedd, ei gyfaill Mr. Burnard a appeliodd ar ei ran at yr heddynadon; ac yr oedd ei dystiolaeth ef ei hun, wedi ei hysgrifenu ganddo, yn peri syndod i'r ynadon, gan mor alluog a rhagorol oedd yr ysgrifen. Y canlyniad a fu, ei ryddhâu oddiwrth ei rwymedigaethau i Bowden; a dyna efe unwaith eto yn cael llettŷ yn y *workhouse*, ymha le am flwyddyn yn ychwaneg yr oedd efe yn ddiwyd yn ceisio ymberffeithio mewn cryddiaeth.

Ond yr oedd Rhagluniaeth yn parotoi y ffordd iddo at waith uwch. Bu sôn am y dystiolaeth ysgrifenedig y cyfeiriwyd ati yn galw sylw ymhell ac yn agos at ei ddawn a'i dalent; ac yr oedd yntau yn dyfod i weled ymha le yr oedd dirgelwch ei gryfder. Dechreuodd ysgrifenu i'r *Plymouth Weekly Journal*, yr hyn a'i dygodd yn gydnabyddus i Mr. Nettleton, un o berchenogion y newyddiadur hwnw; ac efe, gyda boneddigion eraill, ac yn enwedig Mr. Harvey, gŵr enwog iawn yn nghelfyddyd rhif a mesur, a benderfynasant fod yn rhaid i John Kitto gael help i amaethu ei alluoedd a'u troi i ddefnyddioldeb cyffredinol. Gwnaed tanysgrifiad i'w gynnorthwyo, symudwyd ef o dŷ'r tlodion, cafodd fyrddio gyda Mr. Burnard, ac ennillwyd caniatâd iddo dreulio ei amser yn y *Plymouth Library*, yr hon a elwid ganddo yn ail lyfrgell iddo.

Ond yn nghanol ei obeithion cysurlawn mewn cysylltiad â llenyddiaeth y pryd hwn, da iawn iddo ef oedd fod hefyd fater pwysicach yn ennill ei sylw. Y mae cynnydd mewn gallu meddyliol a gwybodaeth gyffredinol yn werthfawr yn wir; ond beth yw hyn mewn cymhariaeth i iachawdwriaeth yr enaid anfarwol? Ceir ef yn ysgrifenu yn ei ddyddlyfr, Ebrill 2il, 1824,—

"Yr wyf mewn cyflwr nas gallaf yn hawdd ei ddesgrifio. Yr wyf yn dyfod bob dydd yn fwy argyhoeddedig o'm hesgeulusdra o'r dyledswyddau gofynedig gan yr Hollalluog, ac o fy nhroseddau yn erbyn ei orchymynion. Nid oes genyf y teimlad priodol hwnw o'i drugaredd, ei gariad, a'i gymwynasgarwch, âg y dylwn ei feddu. Nid oes ynof y syniad cymhwys am wagedd bywyd dynol, ac ansawdd iselwael pobpeth dynol, mewn cymhariaeth i bethau ysbrydol. Yr wyf heb yr ymdeimlad cynhyrfiol o'm drygedd moesol a weddai fod ynof, ac heb y ffydd effeithiol a bywiol yn Iesu Grist y mae pobpeth yn ddiwerth nes ei chael. Mae yn wir fy mod yn credu mai Mab Duw yw yr Iesu, iddo hanfodi gyda'r Tad er tragywyddoldeb. ac mai yn unig trwy ei waed iawnol ef y gallwn obeithio am drugaredd a maddeuant; yr wyf yn credu hyn oll, ond yn teimlo fod y ffydd athrawiaethol hon yn gwbl annigonol heb darddu allan mewn canlyniadau ymarferol nad ydwyf yn eu profi. Y mae athraw oddimewn i mi, yn annibynol ar eiriau ysgrifenedig ysbrydoliaeth, yn peri i mi fod yn hollol sicr nas gallaf o honof fy hun wneuthur dim—fod fy ymdrechiadau fy hun yn annigonol, ac mai trwy Gyfryngwr yn unig y gallaf ddysgwyl am iachawdwriaeth. Y Cyfryngwr hwnw yw Iesu Grist; trwyddo ef y gallaf gael trugaredd a maddeuant, a'i waed cyfiawnhaol a all olchi ymaith fy mhechodau. Ond nid wyf yn fy nheimlo fy hun yn ddigon diolchgar iddo, na chenyf y ffydd ddigonol ynddo, na'm dymuniad yn ddigon cryf am fyw yn unig erddo ac iddo ef."

---

LLYTHYRAU ODDIWRTH Y DIWEDDAR BARCH. HENRY REES AT Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM ROBERTS, AMLWCH.

Liverpool, Mawrth 17, 1842.

ANWYL GYFAILL,

Byddai yn ddymunol genyf gael llinell oddiwrthych yn hysbysu i mi os ydych yn parhâu yn eich bwriad i fyned i Llandeilo; * canys fe fyddai yn ofer i mi fyned oddiyma i'r Bala, pe na chyfarfyddwn â chwi gyda eich ceffyl a'ch *gig* i'm dwyn ymhellach.

* Cynnaliwyd Cymdeithasfa Chwarterol y Deheudir yn ngwanwyn 1842 yn Llandeilo; ac yn ol y llythyr hwn, yr oedd Mr. Rees a Mr. Roberts yn myned gyda'u gilydd yno.

Nid wyf yn ammheu nad ydych yn dal yn y bwriad o fyned; eto yr wyf yn gweled yn fuddiol i ni roi gair o hysbysrwydd i'n gilydd ar y pwnc. Ac felly yr wyf yn anfon hyn o linellau i hysbysu fy mod yn barod i ddyfod, os ydych chwi yn barod i ddyfod gyda mi (nid âf heboch); a dysgwyliaf air o hysbysrwydd ar yr achos oddiwrthych.

Fy mwriad yw cychwyn oddiyma ddydd Iau nesaf i'r Bala, a'm gobaith yw y cyfarfyddaf â chwi yno. Yr wyf yn ddigalon wrth feddwl nad oes genyf na phregethau nac ysbryd pregethu. Pe buaswn yn llawn o hwn, ni buasai myned oddiyma i Landeilo yn ddim yn fy ngolwg. Iё, o ran hyny o daith, ni waeth genyf fi gychwyn o'r tŷ i Landeilo yn Sir Gaerfyrddin na chychwyn i Seacombe yn sir Gaerlleon, lle yr wyf yn myned heno i gadw Cyfarfod Dirwestol.

Yr wyf fi yn awr yn darllen hanes y *Reformation*, a theithiau blinderog a pheryglus Luther, nes yr wyf yn cywilyddio o'm diogi a'm moethau. Yr ydym ni yn myned i Landeilo ar gais ein cyfeillion; ond yr oedd Luther, druan, yn gorfod myned wrth orchymyn ei elynion. Byddwn ni yn teithio trwy wlad gyfeillgar a diogel; ond yr oedd efe yn cael ei amgylchu gan gynllwynion a brâd y rhai drygionus. Yr ym ni yn sôn am deithio mewn *gig*; ond yr oedd tad y *Reformation*, y mynach tlawd, yn teithio ar ei draed. O na wisgid fi â gronyn o'r un ysbryd!

I mean to draw much out of you, my dear friend, on this journey. Not a moment of the time nor a step of the road from Bala to Llandeilo and back again, shall pass away without something useful under consideration. Pray and think and prepare something for every day. What shall be the subject of our consideration from Bala to Dolgelley, and from Dolgelley to Machynlleth? and so on. My best regards to Mrs. Roberts, in which Mary joins me.

I am, dear friend, yours,
HENRY REES.

ANWYL GYFAILL,*

Derbyniais eich llythyr cwynfanus; a buasai ei gynnwysiad yn fy nharaw â syndod dirfawr oni buasai fy mod wedi clywed am farwolaeth ein brawd Thomas Jones y nos cyn ei dderbyn. Yn wir, mae yn ymddangos yn anghredadwy i mi fod dyn ag oedd yn ymddyddan â mi mor ddiweddar yn iach a chalonog, yn awr yn nhragywyddoldeb.

Yr oedd rhywbeth yn ei wynebpryd gonest, a'i ddull uniongyrch a digwmpas yn dyweyd pa beth bynag fyddai ar ei feddwl, yn peri i mi bob amser ei garu, a hoffi edrych arno a'i wrandaw yn siarad. Hwyrach nad oedd callineb y sarph mor amlwg ynddo â diniweidrwydd y golomen yn ei waith a'i ffordd yn adrodd ei holl feddwl. Ond, ar yr un pryd, yr oedd cywirdeb llawer o'i syniadau yn ddiammheuol, ac fe wêl y Methodistiaid hyny hefyd. Ei anffortun ef oedd bod o flaen ei oes. Prin yr wyf fi yn meddwl iddo gael y lle ag yr oedd amaethiad meddwl, a helaethrwydd ei wybodaeth, yn ei deilyngu; ond y mae parch yn aros ei goffadwriaeth. Fel y daw y Cymry yn genedl fwy darllengar, fe fydd enw Thomas Jones yn dyrchafu i gymeradwyaeth, a'r wybodaeth a wasgarodd efe ar hyd y wlad yn perarogli, pan y bydd enwau llawer o honom wedi disgyn i dir anghof. Nid dyn cyffredin oedd y dyn hwnw, yr hwn, er ei fagu yn ddifantais yn nghanol gwlad, a gasglodd gymaint o wybodaeth, ac a lyncwyd mor llwyr i astudiaeth a llafur llenyddol, fel y treuliai (yn ol a ddywedai wrthyf yn Llanerchymedd) wyth awr bob dydd y cai lonydd yn ei *study*, i ddarllen, cyfieithu, a diwyllio ei feddwl. Dangoswch i mi berson yn Sir Fôn sydd yn gwneyd yr un peth.

Yr wyf yn cydymdeimlo â chwi. Gwn y bydd arnoch hiraeth ar ei ol. Chwi a gollasoch lawer o ddifyrwch diniwed wrth ei golli, pan o'r ochr arall na chawsoch ymadael â dim ag oedd yn wir boenus a blin; canys, os nad wyf yn camgymeryd, ychydig o ddim ag oedd yn wir boen i'w gyfaill oedd yn Thomas Jones. Yr oedd hyd yn nôd ei golliadau wedi eu *stampio* â diniweidrwydd, yn ol fy nhyb i yn wastad am dano. Dymunwn osod marwolaethau y cyfryw ddynion, ac, yn wir, y cyfryw farwolaethau disymwth, yn fwy at fy nghalon.

Mae yn ansicr y deuaf i'r Borth. Yr wyf bron wedi fy llwyr yru i lawr, oddicartref o hyd agos er pan fum yn Crughywel, ac yn myned heddyw eto. Mi a ddeuwn i Beaumaris am ychydig ddyddiau pe cawn lonydd i orphwys; ond y mae arnaf ofn y bydd y bobl yn *plagio*. Yr wyf yn teimlo yn bur egwan, a byddai yn dda genyf, tybygwn, pe cawn fy ffordd yn rhydd i redeg o Liverpool i'r wlad. Yr wyf yn myned yn rhy wan a rhy hen i'r llafur yma. Cofiwch fi at Mrs. Roberts, ac at weddw Thomas Jones.

Yr eiddoch yn garedig,
HENRY REES.

* Nid ydym yn cael un dyddiad i'r llythyr hwn; ond fe dybygid mai yn gynnar yn mis Gorphenaf, 1847, yr ysgrifenwyd ef: canys bu farw yr hynod a'r hybarch Thomas Jones, Amlwch (yr hyn yw testun y llythyr) ar y 6ed o Orphenaf y flwyddyn hono.

Bore Llun, Ionawr 16, 1858.

ANWYL GYFAILL,

Clywais eich bod yn lled wael eich iechyd y dyddiau hyn. Meddyliais gan hyny am anfon y llinell hon atoch yn unig i ymofyn yn fy enw pa fodd yr ydych, ac i'ch hysbysu fy mod yn cydymdeimlo â chwi.

Mae yr amser, yn ddiammheu, yn agosâu bellach ymha un y bydd i chwi fel finnau roddi y tabernacl hwn heibio. Gobeithiaf fod pob cenad sydd yn cael ei anfon atoch oddiwrth y Tad nefol yn y dyddiau hyn yn dyfod gyda y gorchymyn, 'Dywedwch wrtho ef gyflawni ei filwriaeth, ddileu ei anwiredd.' Yr wyf fi yn gweled pob peth yn deg yn ei amser: priodi a magu y plant, hwylio y Cyfarfod Misol, pregethu yn y Gymanfa,—maent yn bethau pur deg yn eu hamser. Ac, yn wir, yn ei amser peth teg iawn yw marw hefyd. Mae rhyw hyfrydwch pruddaidd i'w gael amball waith wrth edrych ar helyntion einioes ar fyned drosodd: ein gwaith wedi darfod, a'n hysbryd, yn gyffelyb i Abraham gynt, yn eistedd megys yn nrws ei hen babell fregus, yn hwyr y dydd, yn dawel a pharod i redeg o honi i gyfarfod âg angylion Duw. Ah! meddwch chwithau, poenus yw cystudd, a chuchiog yw angeu. Ië, fy nghyfaill, dyna lais natur. Ond beth a ddywed yr efengyl? Beth yw llais gobaith? I ba beth y mae cystudd ac angeu yn ddiwedd, ac i ba bethau y maent yn ddechreuad? Os ydynt yn ffordd arw ac anhawdd ei theithio, o ba le, er hyny, y mae'r ffordd hono yn arwain, ac ymha le y dybena? Atebed ffydd hyny.

Bum yn darllen ychydig o Esboniad Luther ar y Galatiaid ddoe. Dywedai fod y diafol yn portreiadu Crist yn aml i feddyliau dynion, ond yn wastad fel un i'w ofni a'i arswydo. Ond Crist y diafol yw hwnw, ac nid Crist Duw. Nid yw efe yn ddychryn i un pechadur teimladol. Pan y ceir mynyd o olwg arno, y mae ofnau yn diflanu, ac y mae cariad a hyder yn blaguro yn ei gyfeillach. Meddyliais hefyd wrth ei ddarllen fod llawer o ddeddfoldeb a balchder yn gymysg â'n llwfrdra a'n digalondid. Wrth feddwl mor ddiffrwyth a fuom, ac mor anmherffaith yr ydym, byddwn yn tueddu i ymollwng yn ein heneidiau. Ond nid felly yr oedd Luther. Yr oedd efe yn edrych allan yn fwy nag i mewn; wedi darfod â'r ymboeni ofer gydag ef ei hun yn yr hen fynachdŷ hwnw, a byth mwy yn edrych oddiwrtho ei hun at Grist croeshoeliedig. "Mae yn burion," medd efe, "dyfod at Moses am reol sancteiddrwydd; ond o ran arglwyddiaeth ar y gydwybod, bydded Moses farw, a chladder ef, ac nac adwaened neb ei fedd ef." O am ein gwreiddio a'n seilio yn ddwfn yn yr efengyl!

Byddwch wych. Yr wyf yn gobeithio y cewch wellâu yn fuan, a chryfhâu yn fawr, a byw yn hir eto. Dymunaf fy nghofio at Mrs. Roberts, ac at y teulu ieuainc, pa rai sydd, mae'n debyg, yn ddigon prysur, yn troi o'ch cwmpas, ac yn ceisio eich gwneyd yn gysurus. Mae fy ngwraig yn dymuno cofio atoch oll.

Ydwyf, anwyl gyfaill,
Yr eiddoch yn ddiffuant,
HENRY REES.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD V.

### *Y Cyfarfod Plant.*

PAN oeddwn fachgen, un o'r sefydliadau crefyddol gwerthfawrocaf oedd y cyfarfod plant, neu yn ol yr enw arferol gan ieuanc a hen, y seiat plant. Cynnelid hi yn wythnosol yn ddifwlch haf a gauaf; ac yr wyf yn meddwl y gallaf sicrhâu nad oedd un bachgen na geneth, os byddai eu rhieni yn aelodau eglwysig, heb roddi eu presennoldeb ynddi yn gyson, oddigerth i afiechyd eu lluddias. Os absennolai un ei hun am fwy nag un noswaith yn olynol, heb fod rheswm digonol am hyny, byddai i Abel Hughes, càn sicred â'r byd, alw y tad neu y fam i gyfrif yn y seiat gyffredinol ganlynol; ac os nad ellid rhoddi rheswm boddhaol, rhoddid cerydd cyhoeddus iddynt am yr esgeulusdra. Y fath ddirywiad sydd wedi cymeryd lle yn y peth hwn yn ein dyddiau ni! Mae ymron yn anmhosibl yn awr cynnal wrth ei gilydd gyfarfod plant am ychydig wythnosau yn ystod misoedd y gauaf. A beth pe gelwid rhieni i gyfrif cyhoeddus yn y dyddiau hyn am esgeuluso anfon eu plant i'r seiat? Meddylier am fynyd am geryddu Mrs. Dowell y *shop*, plant yr hon na welir unwaith yn y pedwar amser yn y cyfarfod eglwysig. Gwarchod pawb! pe rhyfygid gwneyd y fath beth, y mae yn gwestiwn genyf a ddeuai hi na'i phlant i'r capel byth, heb sôn am ddyfod i'r seiat. Ond pe buasai Abel Hughes yn fyw, buasai ef wedi galw Mrs. Dowell i gyfrif, a llawer Mrs. arall, gan nad beth fuasai y canlyniadau. Yn sicr, dywedasai ef wrthynt mai yn Eglwys Loegr yr oedd eu lle, ac mai goreu po gyntaf iddynt fyned yno. A ydyw yr hen flaenoriaid gonest i gyd wedi meirw? Wrth i mi alw amryw o honynt i'm cof, yr wyf yn gorfod cydnabod fod cryn lawer o erwindeb yn perthynu iddynt; ond gyd-

a'u holl erwindeb, yr oedd ynddynt ryw unplygrwydd a gonestrwydd ag sydd yn ffurfio gwrthgyferbyniad ffafriol i'r oes felfedaidd a gwenieithus hon o grefyddwyr.

Càn gynted ag y medrais barablu "Cofiwch wraig Lot," bu raid i mi hwylio i'r seiat plant o dan ofal Wil Bryan, yr hwn oedd rai blynyddau yn hŷn na mi. Ynglŷn â fy hanes boreuol, bydd raid i mi gyfeirio yn fynych at Wil Bryan, ac weithiau gyda gofid. Da i mi a fuasai pe nas gwelswn ef erioed, er fy mod ar un adeg yn credu nad oedd y fath Wil yn y byd. Cyndyn iawn oeddwn i ddysgu adnod; ac o herwydd hyny bu raid i "Cofiwch wraig Lot" wasanaethu i mi ar rai degau o achlysuron, a hyny heb yn wybod i fy mam. Gofalai hi yn wastad am ddysgu adnod newydd i mi ar gyfer pob seiat; ond erbyn i mi fyned i'r cyfarfod, byddai yr adnod wedi cymeryd ei haden, ac nid oedd dim i'w wneyd dan yr amgylchiadau ond syrthio yn ol ar "Cofiwch wraig Lot." Yr wyf yn cofio ddarfod i mi ar fwy nag un amgylchiad ddechre adrodd adnod newydd, megys "Gwir yw y gair ac yn haeddu—;" ac wedi methu myned ymlaen i'w gorphen, diweddwn yn ddieithriad trwy ddyweyd "Cofiwch wraig Lot." O herwydd fy mod mor fychan, cyd-ddygwyd â mi yn hyn am yspaid maith; ac nid cyn i'r plant ddechre fy ngalw yn wraig Lot y rhoddais heibio sôn am dani.

Fy ngwaith yn adrodd yr adnod adnabyddus mor fynych a roddodd achlysur i'r rhai oedd yn arwain y cyfarfod wneyd sylwadau aml arni; ac yr wyf yn meddwl fy mod yn gwybod yr oll ag oedd i'w wybod am wraig Lot cyn i mi fod yn bump oed. O leiaf, nid wyf yn ymwybodol fod fy syniadau am y Sodomiaid, yr angylion, y tân a'r brwmstan, Lot a'i deulu, y golofn halen, Soar, &c., wedi cyfnewid rhyw lawer oddiar y peth oeddynt yn fy meddwl pan oeddwn yn bum' mlwydd oed, fel y dywedais. Yr oedd hanesiaeth ysgrythyrol yn y modd yma yn cael ei ddyferu i'n meddyliau megys heb yn wybod i ni; ac yr wyf yn meddwl y gallaf sicrhâu fod gwybodaeth Fiblaidd yn llawer uwch a pherffeithiach mewn ieuenctyd yn yr oes hono nag ydyw yn yr oes oleu hon. Y dydd o'r blaen yr oeddwn yn gofyn i fab Mrs. Dowell, yr hwn sydd yn bymtheng mlwydd oed, "Pwy oedd Jeroboam?" a'i ateb oedd ei fod yn meddwl mai un o'r apostolion ydoedd. Mae genyf le i ofni fod llawer o blant crefyddwyr y dyddiau hyn nad ydynt yn rhagori nemawr mewn gwybodaeth ar Solomon Dowell.

Y fath zel ac ymroddiad a ddangosai John Joseph ac Abel Hughes gyda ni y plant, er fod yr olaf yn hen ŵr; hen yr wyf yn ei gofio. Yr oedd John Joseph wrth fodd ei galon yn ein dysgu i ganu pennillion, megys

"O, hyn fydd yn hyfryd!"

ac

"Ni bydd diwedd
Byth ar swn y delyn aur."

O'r ochr arall byddai Abel Hughes mor ddifrifol a sobr yn gwrando ein hadnodau, ac yn llefaru arnynt mor ddifrifol, meddaf, â phe buasai yn gwybod fod dydd y farn i gymeryd lle dranoeth. Yr oeddym ni y plant yn fwy hoff o John Joseph nag o Abel Hughes; oblegid os byddai Abel yn absennol, ni byddai dim holi i fod ar yr adnodau, ond troi ati i ganu. Hefyd, pan na byddai Abel yn bresennol, byddai John Joseph yn defnyddio y *pitchfork;* ac yr oeddym yn hoffi ei weled yn ei tharo ar y *stove,* ac yn ei gosod wrth ei glust, ac yn cau ei lygaid a gosod ei ben yn gam i wrando ar ei swn, gan roddi dau neu dri o nodau allan cyn dechre canu, er na wyddem yn y byd mawr pa ddybenion goruchel oedd yn cael eu cyrhaeddyd trwy hyn. Nid gwiw oedd i John Joseph fyned trwy y seremoni hon pan fyddai Abel yn bresennol. Gwelais ef unwaith yn gwneyd cais at hyny; ond dywedodd Abel wrtho yn union deg am gadw y taclau hyny gartref—nad oeddynt yn weddus i dŷ Dduw. Beth pe buasai Abel yn fyw yn awr? Beth pe clywsai efe ŵr o'r sedd fawr yn cyhoeddi fod y dôn a'r dôn yn y *modd Lah,* a dwsin neu ddau o ddynion yn gwaeddi ar draws eu gilydd, "Doh, soh, doh, soh!" Yn sicr buasai Abel, druan, yn meddwl fod crefydd wedi myned yn bricsiwn; ac y mae arnaf ofn mai rhywbeth tebyg i ddyrysu yn ei synwyrau fuasai'r canlyniad. Fel y mae amgylchiadau yn newid mewn hanner oes!

Byddai Abel Hughes yn fanwl iawn am gael dechre a diweddu y seiat plant mewn pryd. Gwyddem i'r fynyd yr adeg y deuai i'r capel. Cof genyf y byddai fy mam yn canmawl Wil Bryan am alw am danaf mor brydlawn i fyned i'r cyfarfod; ond ychydig a wyddai hi mai ein hamcan yn myned mor gynnar oedd cael chware ymguddio yn llofft y capel. Yr oedd Wil wedi cael allan rywfodd fod Abel yn dechre y cyfarfod yn ol ei *watch,* ac yn diweddu yn ol cloc y capel. Un noswaith, pan oedd pawb o honom yn eu lle yn dysgwyl am Abel i mewn, dywedodd Wil yr elai ef i'r *gallery* i symud bys y cloc hanner awr ymlaen; ac ar y gair efe a aeth. Yr oeddym oll yn bryderus iawn rhag i Abel ddyfod i mewn. Pan oedd Wil wedi cyrhaedd sêt y cloc, ac ar fedr rhoddi ei law ar y bys, agorwyd drws y capel, a dacw Abel yn gwneyd ei ymddangosiad. Crwcydodd Wil y fynyd hono. Curai calon pawb o honom, oblegid

nid dyn i gellwair âg ef oedd Abel Hughes. Tra yr oedd Abel yn gweddïo wrth ddechre y cyfarfod, ac wedi cau ei lygaid yn dŷn, achubai pawb o honom y cyfleusdra i edrych tua sedd y cloc. Synwyd ni gan eofndra Wil Bryan, oblegid gwelem ef yn symud bys y cloc, ac yna yn gorphwys yn hamddenol ar ei benelinoedd ar ffrynt y *gallery*, gan roddi winc ar hwn a'r llall. Wedi hyn, gwelem ef yn chwilota ei logellau am friwsion, ac yn eu gollwng i lawr ar ben yr hen Abel. O herwydd fod Abel wedi ymgolli yn y weddi, neu ynte o herwydd ei fod yn gwisgo cap melfed, nid ymddangosai ei fod yn teimlo dim oddiwrth y briwsion.

Nid oedd John Joseph yn bresennol y noswaith hono, ac ni chafwyd hwyl o gwbl ar y cyfarfod. Anmherffaith iawn yr adroddem ein hadnodau, gan fod ein meddyliau yn llofft y capel gyda Wil Bryan, 'pen yr hwn oedd yn dyfod i'r golwg yn awr ac yn y màn. Bob tro y caem gipolwg ar ei wyneb, yr oedd yn gwenu ac yn ymddangos yn mwynhâu ei hun yn brâf. Yr wyf yn meddwl mai efe oedd yr unig un nad oedd ei galon yn curo gan ofn. Cawsom gerydd lawer gwaith gan Abel Hughes am adrodd ein hadnodau mor wael, ac am ein bod yn cyfeirio ein llygaid yn barhâus at y cloc, fel pe buasem ar frys am gael myned adref. Ychydig a wyddai efe mai nid ar y cloc yr edrychem, ond ar dop gwallt Wil Bryan. Er fod ein gwynebau yn ddifrifol, blinodd Abel yn ceisio cael ein meddyliau at yr adnodau, ac edrychodd ar y cloc, ac arwyddodd syndod fod yr amser wedi cerdded mor bell. Ar yr un fynyd agorwyd drws y capel, a daeth Marged Ellis gwraig tŷ'r capel, i mewn. Dechreuodd hi gwyno yn dost wrth Abel ein bod ni y plant yn dyfod i'r cyfarfod cyn yr amser er mwyn chware, a'n bod yn gwneyd trwst enbyd. Gofynodd Abel i Marged pwy oedd euog o hyny, ac atebodd hithau, "Bachgen Hugh Bryan ydi'r gwaetha' o honyn' nhw i gyd; 'roedd o'n enbyd o ddrwg heno." "Wel, Marged bach," ebe Abel, "'rydach chithe fel fine yn myn'd yn hen; ni fu William Bryan yma heno o gwbl, er fod hyny yn beth digon rhyfedd, achos mae William yn ffyddlawn iawn i'r cyfarfod." "Ydach chi'n meddwl, Abel Hughes," ebe Marged, "na wn i ddim be dwi'n dd'eyd? Oni weles i o, ac oni chlywes i o â'm llygid fy hun yn rhedeg ac yn rhampio ar hyd y capel!" "Rhys," ebe Abel, gan edrych yn myw fy llygaid, "ddôth William Bryan hefo ti i'r capel heno?" Yn erbyn fy ngwaethaf, rhedodd fy llygaid at sêt y cloc, a gwelwn Wil yn cau ei ddwrn arnaf i beidio dyweyd gair. Ni chymeraswn lawer âg agor fy ngenau wedi i Wil gau ei ddwrn; ond ni bu raid i mi yngan dim. Cafodd Marged tŷ'r capel gipolwg ar dop ei wallt yn suddo i'r sêt. "Abel Hughes," ebe hi, "mae o yn sêt y cloc; mi gweles o'r mynyd 'ma." Crynai pob un o honom yn ei le tra y troediai Abel gam neu ddau yn ol â'i gefn at y sêt fawr. Ond yn ei fyw nis gallai efe weled Wil. "Ewch i nol yr hogyn drwg i lawr, Abel Hughes; mae o ene yn siŵr i chi," gwaeddai Marged. Gwelaf Abel wedi cynhyrfu drwyddo yn myned i'r *gallery*. Teimlwn fy nghalon yn fy ngwddf wrth ei weled yn nesâu at sêt y cloc. Pa fodd bynag, cyn i Abel gyrhaedd y fan, neidiodd Wil i'r sêt nesaf, ac i'r nesaf at hono; a llamodd o'r naill sêt i'r llall nes cyrhaedd pen y grisiau, i lawr yr hon y daeth megys ar un naid. Yn y gwaelod ceisiodd Marged ei ddal, ac wrth ysgythru heibio iddi bu agos i Wil ei thaflu i lawr. Yr oedd Wil ymhell ar ei ffordd gartref cyn i Abel druan droi ar ei sawdl. Tra y dadganai Marged tŷ'r capel ei meddwl yn ddigamsynied ar fuchedd Wil Bryan, ymdrechai yr hen flaenor hybarch feddiannu ei hun; ond yr oedd efe wedi cynhyrfu gymaint fel y bu raid iddo ein gollwng ymaith y noson hono heb weddïo; yn unig rhoddodd siars arnom i fyned adref yn ddystaw, ac i fod yn blant da, a pheidio dilyn esiampl William Bryan. Aeth Abel rhag ei flaen i achwyn wrth Hugh Bryan am ymddygiad anweddaidd ei fab; a chlywais yr olaf yn dyweyd drannoeth na chafodd yn ei fywyd y fath gurfa gan ei dad ag a gawsai y noswaith hono.

Nid ydyw yr amgylchiad uchod ond syml a phlentynaidd, ac ni buasai yn werth ei adrodd ond wrthyf fy hunan; ac eto yr wyf yn cofio amser pan edrychwn yn ol at ddygwyddiadau y noswaith hono, ac y cysylltwn gyda hwynt y fath ddyddordeb a phwysigrwydd ag a gysylltai Wellington â Waterloo. Noswaith fawr fy mywyd oedd hi yr adeg hono. Yn fy ffolineb plentynaidd, edmygwn tu hwnt i bobpeth ddewrder ac eofndra Wil Bryan, a thybiwn nad oedd ei fath yn y byd. Wrth daflu fy meddwl yn ol at yr amgylchiad a gymerodd le yn y seiat plant, nis gallaf erbyn hyn beidio gweled cymeriad Wil Bryan yn yr hedyn o hono, yr hwn ar ol hyny a dyfodd yn bren mawr.

Gresyn, gresyn, Wil, na buasit wedi gwrando ar gynghorion difrifol Abel Hughes a John Joseph yn y seiat plant! Pe buasit wedi gwneyd hyny, nid yn y lle yr wyt heddyw y buasit. Arbedasit yr holl drueni yr aethost drwyddo, a'r euogrwydd yr hwn y mae dy gydwybod heddyw yn llwythog o hono. A wyt ti yn cofio, Wil, o'r man lle'r wyt, fel y byddai Abel Hughes yn ein cynghori i

ymgadw oddiwrth bob rhith drygioni, gan ddangos i ni eilwaith ac eilwaith y perygl o rodio ffordd yr annuwiol? A wyt ti yn cofio, tybed, mor daer y byddai efe yn gweddio drosom, ac fel y byddai yn ein cyflwyno i ofal yr Hwn yr oedd efe ei hun wedi ei gael yn arweinydd ffyddlawn ac yn Iachawdwr galluog? Os wyt, a diammheu genyf dy fod, y mae yr adgofion hyn fel tân yn dy gydwybod heddyw!

## Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### Y PEDAIR EFENGYL.

Y MAE'R pedair Efengyl ganonaidd yn arddangosiadau o'r un a'r unrhyw Efengyl yn ei gwêdd a'i pherthynas bedwarplyg â'r hil ddynol; a gellir ei galw, gyda Irenæus, "yr Efengyl bedwarplyg." A'u cymeryd ynghyd, y maent yn rhoddi i ni ddarlun cyflawn o gymeriad a bywyd daearol ein Harglwydd a'n Hiachawdwr, yn yr hwn y mae holl gyflawnder y Duwdod, a dyndod dibechod, yn trigo mewn cyfuniad perffaith. Y mae pob un yn anmhrisiadwy ac anhebgorol; pob un yn ddigyffelyb yn ei math, pob un yn meddu ei hansawdd a'i chenadaeth neillduol, yn cyfateb i dalent, addysg, a galwedigaeth yr awdwr, ac i anghenion ei ddarllenwyr.

Mae Matthew, gan ysgrifenu yn Palestina, ac i'r Iuddewon, ac, yn unol â'i orchwyl a'i hyfforddiant blaenorol, yn cadw at drefn enwadol a lleol, yn hytrach na threfn amseryddol, yn rhoddi i ni Efengyl y Ddwyflywodraeth newydd a sefydlwyd gan Grist—y Deddfroddwr, y Messiah, a Brenin y gwir Israel, yr hwn a gyflawnodd holl brophwydoliaethau yr hen oruchwyliaeth. Yr eiddo ef yw yr Efengyl sylfaenol, yr hon sydd yn sefyll yn yr un berthynas â'r Testament Newydd ag y mae Pumllyfr Moses â'r Hen. Mae Marc, cydymaith Pedr, gan ysgrifenu yn Rhufain, ac i'r Rhufeiniaid rhyfelgar, yn darlunio Crist, mewn braslinelliad bywiog a desgrifiadol, fel galluog Fab Duw, y Gweithiwr Rhyfeddodau, y Gorchfygwr buddugol, ac yn gwneyd i fyny y ddolen gysylltiol rhwng Matthew a Luc, neu rhwng y Cristion Iuddewig â'r Efengylydd Cristionogol Cenedlig. Mae Luc, Groegwr (*Hellenist*) dysgedig, physygwr dyngarol, dysgybl a chyfaill Paul, wedi ysgrifenu, fel Efengylydd y Cenedloedd, yn benaf i ddarllenwyr Groegaidd, ac mewn trefn amseryddol, Efengyl y ddynoliaeth gyffredinol, ymha un y mae Crist yn ymddangos fel cydymdeimladol Gyfaill pechaduriaid, y Meddyg yn iachâu pob anhwyldeb, Bugail tyner y defaid crwydredig, Awdwr a Chyhoeddydd iachawdwriaeth rad i Genedloedd a Samariaid yn gystal ag i Iuddewon. Oddiwrth Ioan, ffyddlawn gyfaill mynwesol yr Iachawdwr, y Benjamin ymysg y deuddeg, a phatriarch goroesol yr oes apostolaidd, yr hwn a allai edrych yn ol at ferthyrdod Iago, Pedr, a Paul, a dinystr Jerusalem, ac edrych ymlaen at sicr oruchafiaeth Cristionogaeth ar eilunod simsan Paganiaeth, yr ydym yn naturiol i ddysgwyl y cyfansoddiad addfetaf, megys yr ydoedd hefyd yr olaf, perthynol i'r hanesyddiaeth efengylaidd, er mwyn adeiladaeth yr Eglwys Gristionogol trwy yr holl oesoedd.—*Dr. Schaff.*

---

2 BRENHINOEDD ii. 11: "Ac fel yr oeddynt hwy yn myned dan rodio ac ymddyddan, wele gerbyd tanllyd a meirch tanllyd, a hwy a'u gwahanasant hwynt ill dau. Ac Elias a ddyrchafodd mewn corwynt i'r nefoedd."

WRTH sylwi yn fanwl ar yr adnod hon, gwelir nad oes ynddi sail i'r esboniad cyffredin a roddir am esgyniad Elias i'r nefoedd, sef, mai yn y cerbyd tanllyd y dyrchafodd efe yno. Gwahanu Elias oddiwrth Eliseus—rhwystro pob cymundeb pellach rhwng yr athraw â'r dysgybl, y meistr â'r gwas,—dyna meddir yma, a wnaeth "cerbyd tanllyd a meirch tanllyd." "Elias a ddyrchafodd," nid mewn cerbyd o dân, ond "mewn corwynt i'r nefoedd." Starke a ddywed, "Mewn tymhestl a chorwynt y cymerwyd Elias ymaith, yn gyffelyb fel y bu ei fywyd yn allanol yn un tymhestlog. Yr oedd y gwynt tymhestlog olaf hwn, pa fodd bynag, yn ei ddwyn i orphwysfa dragywyddol a thangnefedd diddiwedd."

---

ESAIAH i. 8: "Merch Sïon a adewir megys lluesty mewn gwinllan, megys llety mewn gardd cucumerau."

WRTH ferch Sïon yma y deallir dinas Jerusalem. Mae'r prophwyd yn ei bygwth âg ymosodiad rhyfelgar. Pan yr oedd cyfiawnder yn ffynu ymysg y dinasyddion, yr oedd pob peth yn gysurus gyda hwy, a'r holl wlad oddiamgylch yn brydferth a ffrwythlawn. Ond erbyn hyn yr oedd offeiriaid a phobl wedi llygru eu ffordd, ac yr oedd raid gan hyny eu ceryddu â barnedigaeth ddifäol. Mae'r ffugyr a ddefnyddir yma yn cyfeirio at arferiad cyffredin yn y Dwyrain, ond yn anwybyddus yn ein gwlad amaethedig ni. Nid yw y meusydd yno wedi eu gwahanu,

gyda gwrychoedd neu furiau o'u hamgylch: ond y mae yr holl wlad yn ymddangos fel tir cyffredin, fel *common* agored; a phan y bydd y ffrwythau yn addfedu yn y gerddi agored hyn, rhaid cadw gwyliadwriaeth ddyfal ddydd a nos, i gadw'r ffrwyth rhag bwystfilod ac adar, a rhag dynion yspeilgar. Gosodir gwas wrth y gorchwyl, ac y mae yntau yn cymeryd ei le mewn *hovel* neu *shed* bychan; braswaith o gangau coed, fe allai; ac yno yr erys nes casglu'r ffrwythau. Bydd ei fŵth salw yn cael ei adael ar ei ol, gan na bydd yn werth ei symud, ac yno y bydd nes i dymhestloedd y gauaf ei lwyr ddifodi. Gwelir gwinllanoedd mawrion yn cael eu cadw fel hyn mewn amryw barthau o Palestina; ac nis gall fod unigedd llwyrach nag eiddo'r gwyliwr truan yn y winllan neu yr ardd, nac un darlun o anghyfannedd-dra mwy na'i letty salw wedi iddo ei adael yn y maes y dygwyd ymaith o hono yr holl ffrwyth. Ond dyna oedd barnedigaeth Jerusalem o herwydd ei phechodau; ac y mae yr olygfa brudd i'w chanfod eto o oes i oes, tra y methrir y ddinas sanctaidd gan y Cenedloedd. Mae rhan fawr o'r lle a geuir i fewn gan y mur presesennol yn wag heb anneddau; dim ond ysbwrial a malurion yma a thraw, gyda chlytiau achlysurol o ŷd a dyryslwyni dreiniog.

---

RHUFEINIAID xii. 10: "Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd; yn rhoddi parch, yn blaenori eich gilydd."

Y MAE'R gair a gyfieithir yma yn "garedig" *(philostorgos)*, yn arwyddo yn wreiddiol y serch naturiol cryf a ddysgwylir fod rhwng y perthynasau agosaf o ran gwaedoliaeth, megys rhieni a phlant, a brodyr a chwïorydd; a gellir darllen, "Mewn cariad brawdol byddwch geraint," neu garennydd, "i'ch gilydd." Y meddwl ydyw, y dylai cristionogion garu eu gilydd gyda yr un fath gywiredd a thynerwch â phe byddent y perthynasau mwyaf agos. Byddai iddynt hwy ddangos eu hunain yn amgen yn beth mor annaturiol ag i oerfelgarwch ac anghariad ddygwydd rhwng brodyr a chwïorydd yn yr un teulu. Nid rhyw deimlad nacäol a ddylai fod rhyngom,—peidio cweryla â'n gilydd, ond ymarfer y cariad gwresocaf a grymusaf. Gofynir yma am serchogrwydd ysbrydol, serch "y dyn newydd" at ei gydgredinwyr fel ei berthynasau yn Nghrist, meibion a merched i'r un Tad nefol.

Dengys yr holl adnod hon fod gwir gariad a gwir ostyngeiddrwydd yn gymdeithion naturiol i'w gilydd. Un o'r moddau y dangosir cariad ydyw, "Yn rhoddi parch yn blaenori eich gilydd." Nid oes eisieu y rhagwahannod ar ol parch. Byddai yn eglurach, hwyrach, fel hyn: "Yn blaenori eich gilydd mewn rhoddi parch;" mewn *rhoddi* parch ac nid mewn *gofyn* parch, sef, yn lle aros wrth eraill am ein parchu ni, dylem roddi ein hunain ar y blaen i barchu eraill. Wrth hyn gwaherddir a cheuir allan yr ysbryd uchelgeisiol, hunan-ddangosiadol, a hunanganmoliaethol—yr ysbryd sydd yn peri i un yn wastad ymwthio i sylw, cymeryd o hono ei hun y sêdd flaenaf, a chipio iddo ei hun y gorchwyl anrhydeddusaf. Ysbryd hollol wrthwyneb i hynyna a ddysgwylir gan yr Arglwydd Crist yn ei ddysgyblion ef, ac a arddodir ganddo gyda holl bwysigrwydd ei awdurdod a'i esiampl: "Y mwyaf yn eich plith chwi bydded megys yr ieuengaf, a'r penaf megys yr hwn sydd yn gweini. Canys pa un fwyaf ai yr hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd, ai yr hwn sydd yn gwasanaethu? onid yr hwn sydd yn eistedd ar y bwrdd? eithr yr ydwyf fi yn eich mysg fel un yn gwasanaethu." Mae cariad a gostyngeiddrwydd yn peri i gyd-gristionogion geisio tynu allan ddoniau eu gilydd i'r fantais fwyaf, yn lle cymhell eu hunain i sylw ac anrhydedd, eithr ymgodi uwchlaw bychander cenfigenau ac eiddigeddau.

---

## Darlleniadau Detholedig.

### ANGHREDINIAETH AC ADFERIAD THOMAS.

YMHA le yr oeddit ti, O Thomas, pan yr oedd y lleill o'r frawdoliaeth sanctaidd ynghyd? A barodd dy ofn i ti ffoi mor bell fel yr wyt eto heb ddychwelyd at dy gyfeillion? Neu a adewaist i bethau eraill dy gadw draw oddiwrth y gwynfydedigrwydd o fwynhâu presennoldeb yr Arglwydd? Collaist yn awr yr anadliad Dwyfol â'r hwn y dyddenir eraill mor fawr; a dyma ti wedi dy adael i syrthio i'r anhyder diwerth hwnw y buasit yn dianc rhagddo, pe buasit gyda hwy. Dyma dy frodyr wedi dywedyd wrthyt, "Ni a welsom yr Arglwydd." Ac ai nid yw eu tystiolaeth yn ddigon? Ai ni wna llygaid neb y tro i ti ond dy lygaid dy hun? A ydyw dy glustiau heb fod o ddim cymhorth i'th ffydd? "Oni châf weled yn ei ddwylaw ef ôl yr hoelion, a dodi fy mŷs yn ôl yr hoelion, a dodi fy llaw yn ei ystlys ef, ni chredaf fi." Y dyn drwgdybus! pwy a gaiff y golled os na chredi! A oes dim sicrwydd mewn unpeth ond yn dy synwyrau di dy hun? Pa fodd nas gelli gredu cynifer o lygaid a thafodau dynion da yn gystal â'th lygaid a'th ddwylaw di dy

hunan? Cân lleied a wyddost ti eto am lwybr ffydd! "Ffydd sydd trwy glywed." Dyma y tafodau sydd i ennill yr holl fyd i'w credu; ac a ommeddi di yn y dechre wrando arnynt? Pa fodd y mae'r gair am adgyfodiad yr Iesu yn un mor anhawdd i'w gredu genyt? Oni ragddywedodd dy Feistr mawr wrthyt ti a'r dysgyblion eraill, fod yn rhaid ei groeshoelio, ac iddo godi y trydydd dydd? A oes rhywbeth wedi cael ei wneuthur yma ond a ragddywedwyd? ac a all unrhyw beth fod o'r tu allan i gylch Hollalluogrwydd? Wele, dos, ynte, a chais ymddedwyddu yn dy galllineb anffyddol tra y mae dy hen gyfeillion yn wir ddedwydd oddiar gredu.

Dyma Thomas yn treulio wythnos gyfan yn yr anffyddiaeth digysur hwn, tra, yn ddiau, y deallai fod y gwragedd sanctaidd, y tystion cyntaf o adgyfodiad Crist, yn sicrhâu hyny, yn gystal â'r ddau ddysgybl oeddynt yn myned i Emmaus, y rhai yr oedd eu calonau, wedi llosgi ynddynt, yn gosod eu tafodau ar dân, i draethu yn wresog am ymddangosiad yr Iesu iddynt. A thybygem iddo glywed yr adroddiadau am adgyfodiad ac ymddangosiad seintiau lawer a hunasant, fel *attendants* i Arglwydd a Rhoddwr bywyd. Eto y mae efe yn para i anghredu y gwirionedd gwerthfawr, o'r hwn nas gallai wadu iddo gael profion digonol i'w argyhoeddi! Nid yw yr unrhyw gyfferi yn gallu gweithredu ar bob rhyw gorff, na'r unrhyw foddion ffydd yn effeithiol ar bob enaid. Ceir un yn gyndyn tra y mae'r lleill yn hyblyg.

O Iesu mawr, mor gyfiawn y gallesit adael y Thomas hwn yn ei gyndynrwydd! Pwy a allasai synu pe buasai efe farw yn ei anghrediniaeth? Ond, O ddigyffelyb Fugail Israel, yr hwn y gwelaist yn dda adael y namyn un pum' ugain i fyned ar ol yr un a aethai i grwydro i'r anialwch, ti a fuost ofalus i ddwyn y crwydryn hwn yn ol at ei gymdeithion! Dacw'r dysgyblion wedi ailymgynnull yr un modd, ar yr un adeg, ac yn yr un lle, ag o'r blaen, a'r dysgybl anghrediniol y tro hwn gyda hwynt, a'r drysau yn gauedig fel cynt, pan y daeth yr Iesu i mewn yn yr un modd ac yn yr un wêdd âg o'r blaen, ac y dangosodd ei ddwylaw a'i draed yn yr un modd; a chan gyfeirio at y dysgybl amheus, gwahoddodd ei lygaid i weled, a'i fysedd i deimlo ei ddwylaw, a'i law i'w dodi yn ei ystlys, fel na byddai anghredadyn ond credadyn.

Iesu bendigedig, rhyfedd fel yr wyt yn tosturio wrth gamsyniadau a gwendidau dy weision! Hyd yn nôd pan fyddom ystyfnig yn ein hopiniynau disail, ac heb haeddu ond i ti ein llwyr adael, O fel y deui ar ein hol ac y goddiweddi ni â'th drugaredd, gan ein dychwelyd a'n gwaredu yn dy dosturi anfeidrol, mewn ffordd uwchlaw ein meddyliau a'n dymuniadau ni! Yr oedd dy ddaioni yn ymostwng i gynnyg boddloni yr anghrediniaeth diachos hwnw yn fwy rhyfedd o gymaint ag yr oedd y llygaid a'r dwylaw hyny yn annheilwng o gael gweled a theimlo dy fywiol gorff sanctaidd a gogoneddus. Ac nid wyf yn dy glywed yn llym-geryddu dy gyndyn ddysgybl hwn. Dywedaist braidd yn arw ychydig cyn hyn wrth y ddau ddysgybl ar y ffordd i Emmaus: "O ynfydion a hwyrfrydig o galon i gredu yr holl bethau a ddywedodd y prophwydi!" ond gwnaethost hyny pan yn cymeryd arnat fod yn deithiwr dyeithr ar y ffordd, â hwy wrthynt eu hunain; eithr yn awr pan y lleferi ger bron yr holl ddysgyblion, ac â'th dafod dy hun fel Iesu Grist, yn lle ceryddu, yn unig ti a annogi, "Na fydd anghredadyn ond credadyn."

Wele dy drugaredd, yn gystal â'th allu, yn toddi calon rewllyd y dysgybl digred. "Yna yr atebodd Thomas, ac y dywedodd wrtho, Fy Arglwydd a'm Duw!" Ni chlywaf i Thomas ddefnyddio ei ddwylaw, fel y gwahoddid ef i wneyd. Yr oedd ei lygaid yn rhoddi iddo y sicrwydd digonol. Dichon fod yr ymsyniad o hollwybodaeth ei Feistr, pan yn cyfeirio, yn ei wahoddiad iddo i'w deimlo, at yr hyn a ddywedasai o'r blaen wrth ei frodyr, yn peri iddo ymgadw rhag cwestiyna dim ymhellach. A pha mor hapus y terfynodd yr ammheuaeth a ddybenodd yn y fath broffes ffyddiog, "Fy Arglwydd a'm Duw!" Nis clywaf y fath gyffes wych oddiwrthynt hwy a gredasant. Yn awr efe a gyffesa nid yn unig adgyfodiad ond Duwdod yr Iesu, a'i hawl ei hunan ynddo ef. Gwyddost, gwyddost, O Waredwr bendigedig, pa fodd i gymeryd mantais ar wendidau dy bobl, er dwyn ymlaen eu hiachawdwriaeth, cadarnhâu dy eglwys, a gogoneddu dy enw!—*Esgob Hall.*

---

### CYNGHORION I BREGETHWYR.

GOCHELWCH segurdod gyda gwaith yr Arglwydd. "Marchnatewch," medd Iesu, "hyd oni ddelwyf;" marchnata fel na byddo'r *total* yr un faint â phan yr ymadawodd y Meistr. Gobeithio na chollwn yr awyddfryd i yru yr un dalent yn ddwy trwy ddiwydrwydd a llafur. "Pob màn y sango gwadn eich troed chwi arno," meddai yr Arglwydd wrth yr Israeliaid, "a roddais i chwi." Felly ar dir y weinidogaeth, nid etifeddwn ni ddim ond yr hyn y sango ein traed arno; am hyny rhaid ymdrechu yn galed am bob lled troed a feddiannwn. Diogi a bair fyned mewn gwisg garpiog yn y weinidogaeth; ac O mor garpiog y wisg y mae llawer pregethwr yn ymddangos ynddi yn fynych o flaen cynnulleidfäoedd, a hyny yn unig o herwydd diogi! "Llaw y diwyd a gyfoethoga;" a pheth mawr yw dysgu bod yn ddiwyd; llenwi ein hamser â rhywbeth buddiol; a hynod fel y gall dyn heb nemawr *gapital*—heb ryw alluoedd cryfion, ymgyfoethogi mewn gwybodaeth a dawn trwy fod yn ddiwyd, yn ceisio defnyddio pob mynyd i ryw ddyben da. Un diwrnod yw ein hoes ni; ac ni ddylid cysgu dim o hono.

Llafuriwch, fy mrodyr, am bethau pwysig a buddiol i'w dywedyd wrth y bobl, ac am rym ac arddeliad wrth eu traddodi. Mynwch y powdwr a'r *shots* gyda'u gilydd, os ydych am ladd dynion trwy eich gweinidogaeth. Mae rhai dynion nad oes ganddynt ddim ond powdwr, tân, a gwreichion; sŵn heb ddim sylwedd na gwerth, heb ddim *shots* gan y rhai hyn. Mae eraill â *shots* da gan-

ddynt; ac y mae yn drueni gweled y fath belenau gloëwon brâf yn syrthio i'r llawr wrth enau'r dryll o eisieu'r powdwr; dim grym nac awdurdod wrth draddodi. Ymdrechwn am gael y ddau: pethau da i'w dyweyd, a nerth ac arddeliad wrth eu dyweyd, ac yna caiff dynion eu clwyfo a'u lladd.

Gofalwn fod pethau'r pulpud genym yn y pulpud. Dylai pethau'r pulpud yn wastad fod yn bethau pwysig, yn bethau sicr, ac yn bethau perthynol: yn bethau *pwysig,*—nid gwneyd i ddynion chwerthin, pan y dylem wneyd iddynt grynu—yn bethau *sicr;* digon am fywyd pechadur genym ymhob pregeth—ac yn bethau *perthynol,* oblegid nid pob peth sydd yn dda a defnyddiol ynddo ei hun sydd gymhwys i'r pulpud. Mae llawer o sylwadau angenrheidiol eu gwneyd yn yr eglwys nad yw briodol eu cyhoeddi o flaen y byd. Ond y mae ambell bregethwr â chêg agored yn dynoethi holl waeleddau'r eglwys yn y pulpud, fel pe byddai yn bwriadu agor genau pob *infidel* drwy'r wlad. Gweddïwch lawer, fy mrodyr ieuainc, am fod eich "gweinidogaeth yn gymeradwy gan y saint." Dichon yn fynych na bydd yn gymeradwy genych chwi eich hunain, ac na bydd wrth fodd llawer o ddynion cnawdol; ond os bydd yn gymeradwy gan y saint, y rhai sydd yn adnabod blâs y gwirionedd, mae hyny y peth nesaf i fod yn gymeradwy gan yr Arglwydd.

Peth mawr yw cael doethineb i osod pethau yr efengyl ger bron dynion mewn dull cymeradwy, heb achosi un tramgwydd afreidiol. "Rho grŷs am y gwirionedd," meddai Mr. Rowlands wrth Mr. Gray. Mae ambell i ddyn yn peri i'r gwrandäwyr deimlo yn wrthwynebus tuag at y gair, o eisieu doethineb i'w ddangos o'u blaen mewn modd y byddo yn debyg o gael derbyniad.

Cofiwch yn wastad am y tair C: cyflwr—cymeriad—cenadwri.—*Ebenezer Richard.*

---

### CYFLAWNDER YR AMSER.

"Pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab." Wrth gyflawnder yr amser, yr ydym i ddeall cyflawnder yr amser apwyntiedig gan y Jehofah cyn dechre'r byd i ddanfon ei Fab. Pan y mae yr haul yn llewyrchu o'i ganolbwynt, y mae'r dydd yn gyflawn, y mae yn ganolddydd, y mae yn ei faint mwyaf; a phan y mae'r haul yn dyfod i bwynt cyferbyniol i'r lleuad, mae'r lleuad yn llawn. Felly pan yr ymddangosodd Crist, yr oedd yr amser y penderfynwyd arno yn mwriadau Duw yn llawn; yr oedd pob peth yn ateb i'w gilydd, a phob peth yn ei le, yn gydweddol â'r bwriadau tragywyddol. Mesur gwag yw amser ynddo ei hun, eithr y mae yn cael ei lanw i fyny yn barhâus gan ryw amgylchiadau pwysig. Bydd y Duw mawr yn taflu rhywbeth o hyd yn ei orchwyliaethau i mewn i hen fesur amser, fel y mae pob mynyd yn llawn o rywbeth. Gwelir fod amser yn cael ei lanw i fyny beunydd â rhywbeth, ïe, â llawer o bethau, drwg a da. Ond yr amser hwn y mae'r testun yn son am dano sydd yn cael ei lanw i fyny â Duw mewn cnawd. Syndod! tragywyddoldeb yn ymwthio i amser, Duw yn ymwthio i gnawd, Arglwydd y gogoniant mewn preseb! Nefoedd a daear, ymunwch mewn synedigaeth. Dyma amser wedi ei lanw i fyny i'r ddau ymyl, ïe, yn llifo drosodd, fel afon ar lif uchel wedi myned yn rhy fawr i'w gwely, ac yn tori dros ei cheulanau gan lifo dros yr holl dir. Pan y danfonodd Duw ei Fab yn nghyflawnder yr amser, cafodd yr hen lestr mawr, amser, ddigon i'w lanw o dda heb ddim drwg. Dyma fesur da, dwysedig, ac yn myned drosodd. Yr oedd danfoniad Moses a'r prophwydi yn llanw i fyny amser i ryw raddau, ond nid i'r ddau ymyl; gallasai ddal chwaneg o lawer iawn; eithr pan y danfonodd Duw ei Fab, danfonodd y fath gyflawnder anfeidrol fel nas gallasai amser na thragywyddoldeb ddal rhagor. Yma llanwyd amser i'r pen, *to the very brim.* Gyda phriodoldeb y gellir galw yr amser hwn yn gyflawnder yr amser, canys y mae Crist yr Arglwydd yn ei ymddangosiad gogoneddus yn cyflawni oll yn oll. Nid oes eisieu dim arno i'w gynnorthwyo i lanw pob peth yn gyflawn; "oblegid ynddo ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Ynddo ef hefyd y mae cyflawnder yr Ysbryd Glân; "ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras." Pan y danfonwyd y fath Berson cyflawn o bob mawredd, yr oedd pob peth yn cyd-dadgan fod cyflawnder yr amser wedi dyfod. Pan y daeth efe, daeth hanfod pob peth a fu yn ei gysgodi o ddechreuad y byd. Daeth y sylwedd, a llanwodd i fyny holl ddiffygion y cysgodau. Gwag oedd yr addewidion, yr aberthau, a'r prophwydoliaethau a gerddasant o'r blaen, nes i Grist yn nghyflawnder yr amser roi sylwedd a hanfod i'r cwbl oll. Cyflawnodd efe bob peth yn ei ddyfodiad yn nghyflawnder yr amser. "Y gras a'r gwirionedd a ddaeth drwy Iesu Grist." Bendigedig! dyma gyflawnder Duw a chyflawnder amser wedi cyfarfod, a chyflawnder Duw yn llanw i fyny gyflawnder yr amser i'r ddau ymyl. Diolch byth! dyma gyflawnder digonol i lanw fy enaid tlawd innau a'ch eneidiau chwithau. Mae yma ddigon i godi fy enaid i fyny i'r drydedd nef, a pheri iddo waeddi, Gogoniant byth!—*Morgan Howells.*

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

Y mae amgylchiadau yn feistriaid ar bobl weinion, ond yn wasanaethyddion i bobl wir synwyrol.

Nis gall pobl onest gael y blâs goreu ar eu bara beunyddiol heb iddo fod yn eiddo rhydd iddynt hwy eu hunain.

Bywyd y credadyn yw ei ddyddiau ysgol, a thragywyddoldeb yw ei ddyddiau gŵyl.

Dylai dyn mewn cwmni gadw gwyliadwriaeth ar ei dafod, ac mewn unigrwydd ar ei galon.

Y gyfrinach am wneuthur llawer yw ymroi i wneyd un peth ar unwaith.

Ni wna y tro i aros o hyd gyda'n diffygion ein hunain. Wrth edrych ar ogoniant yr

Arglwydd, ac nid ar ein gwrthuni ni, y cawn ein newid i'w ddelw ef.

Yn angeu y mae'r duwiol yn dechre byw yn iawn, ac yn diweddu pechu a dyoddef.

Gall aur brynu agos i bob peth yn y byd hwn oddigerth yr hyn y mae ar ddyn ei eisieu fwyaf, sef dedwyddwch.

Mae y rhai a anwyd unwaith yn meirw ddwywaith--yn dymmorol ac yn ysbrydol; ond y rhai a anwyd ddwywaith ni byddant feirw ond unwaith, o herwydd nid oes i'r ail farwolaeth awdurdod arnynt.

Nid yw darllen neu wrando ond yn cyflenwi'r meddwl â defnyddiau gwybodaeth; y myfyrdod sydd yn gwneyd y cyfryw ddefnyddiau i ni yn faethlawn a chryfhäol.

Edrych y mae ffydd ar *air* yr addewid, ac edrych y mae gobaith ar *addewid* y gair.

Rhyw un crynswth o hunanoldeb yw y cenfigenus; nis gall efe fod yn hapus os bydd yn gweled eraill yn mwynhâu hapusrwydd.

Mae rhai crefyddwyr yn debycach i'r lleuad nag i'r haul, heb ganddynt ond ychydig oleuni, a dim gwrês, ac yn nodedig o gyfnewidiol.

Ni I oes genym un amser fwy o achos i ofni nag ar y pryd y byddom heb ofni dim.

Mae ordinhadau yr efengyl fel prenau yn llawn o ffrwythau peraidd; ond ni chawn y ffrwyth i syrthio atom heb i ni â llaw gweddi ysgwyd y pren.

Un peth yw dymuno cael y gwirionedd o'n tu, a pheth arall yw dymuno yn gywir fod o du'r gwirionedd. Gan fod y gwir mor rymus, ewyllysia pawb iddo fod o'u hochr; ond nid mor gyffredin yw y penderfyniad i ufuddhâu i'r gwirionedd, a dilyn ei arweiniad yn wastadol.

Cawn y dail yn ysgafn, yn segur, yn ysgwyd, ac yn dawnsio; ac eto y mae'r Creawdwr wedi eu gosod yn rhan o'r dderwen gadarn. Ai nid oes yma wers i ni gredu y gall fod difrifwch dyladwy oddimewn, er ein bod yn canfod sirioldeb hoenus oddiallan?

Anfynych y ceir yr hyn sydd fawr yn dyfod yn dda; ond yn wastad ceir yr hyn sydd dda yn dyfod yn fawr.

Gallwn farnu ansawdd ein calonau oddiwrth difrifoldeb ein gweddïau. Nis gall gŵr cyfoethog gardota fel gŵr tlawd, na dyn wedi ei lenwi âg ymborth ddeisyf bwyd fel dyn newynog; felly hefyd nis gall yr hwn sydd yn meddwl yn fawr am dano ei hun weddïo am ras fel yr hwn sydd yn ymdeimlo yn dlawd ac anghenog.

# Barddoniaeth.

## PAID DIGALONI, GYFAILL.

Paid digaloni, gyfaill cu,
  Os ydyw 'r caddug ar bob llaw,
A dy awyrgylch oll yn ddu,
  Daw haul a hindda ar ol gwlaw:
Os wyt yn ymladd am y làn,
  Rhwng tonau geirwon fwy na rhif,
Mae porthladd tawel i dy ran
  Er cymaint ydyw grym y llif.

Paid digaloni os gwna 'r byd
  Argraffu arnat ambell graith,
Os rhydd it' godwm ar dy hyd,—
  Gwnaeth hyn i eraill lawer gwaith:
Pan ddaw ei lwyddiant i dy gell,
  A'r haul yn t'wnu ar dy wedd,
Ni bydd aflwyddiant ddim ymhell;
  Parlysa ef dy hyfryd hedd.

Paid digaloni mynyd awr,
  Pe rhifai dy elynion fil;
Casäodd rhai yr Athraw mawr!
  Ni 'th *leddir* di gan un o'r hîl;
Wyneba 'r gâd, a dàl dy dir
  Heb ofni y difäol dân;
Daw buddugoliaeth lawn cyn hir,
  Ac arni dyro rymus gân.

Paid digaloni, gyfaill, pan
  Ddaw diafol a'i elynol drâs,
I edliw fod dy ffydd yn wan,
  A mynwes heb un dafn o ras;
I drechu ystryw uffern ddofn,
  Dy gymhorth cadarn ydyw Duw;
Cei sangu tir lle na ddaw ofn
  I'th lethu mwy tra byddi byw.

Paid digaloni am y wlad
  Lle y blodeua parch a bri;
Ordeiniwyd hono gan y Tad
  Er tragwyddoldeb pell i ti;
Ti fyddi berl mewn coron hardd,
  Ar ol rhoi llam o fyd y gwae;
Dy holl ddedwyddwch yna dardd
  O weled Iesu fel y mae.

Paid digaloni os na ddaeth
  Yr ymddattodiad at dy ddôr;
Bydd barod, daw y drydan saeth
  Hyd atat ti oddiwrth dy Iôr:
Daw cerbyd euraidd i dy nôl,
  A llu o engyl nefoedd wèn;
Ni soni air am dd'od yn ol,
  Ni chwrddi chwaith â'r un Amen.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

## Y WRAIG RINWEDDOL.

*Er serchus gof am Mrs.* JONES, *Vanog, Brycheiniog.*

Gwraig rinweddol yw ein testun,
  Gwell na'r carbwncl yw ei phryd;
Calon gŵr a wnai ymddiried
  Yn ei chalon hi o hyd:
Hi wnai iddo lês yn wastad,
  Fel gwir rôdd o eiddo Duw;
Tebyg oedd i long marsiandwr,—
  Gwraig rinweddol bu hi byw.

Yn y nos cyfodai 'n fynych
  Ac estynai rôdd i'r tlawd;

I'w llancesau hefyd rhoddai,—
Dyma 'r dull y bu ei rhawd: *
Nid yn fynych ceir ei thebyg,—
Hyn a wna i'm calon friw;
Sisial mae pob peth o'n hamgylch,—
Gwraig rinweddol bu hi byw.

Ni wnai ofni am ei thylwyth
Rhag yr eira, rhag y gwlaw;
Ei holl dŷ a wnai ddilladu
Yn ei amser ar bob llaw;
Gwisgai 'r oll yn bert â 'sgarlad,
Taenai 'r llawr â charped gwiw,—
Llanwai 'r tŷ âg arogl peraidd,—
Gwraig rinweddol bu hi byw.

Hynod yw ei gŵr pan gyda
Yr henuriaid yn y pyrth;
Ei gymeriad pan yn eistedd
Yn eu golwg byth ni syrth;
Hi wnai liian main a gwerthfawr
I'w pherth'nasau o bob rhyw;
Rhoddes wir esiampl i'w dilyn,—
Gwraig rinweddol bu hi byw.

Hi agorai 'n ddoeth ei genau;
Deddf trugaredd beunydd oedd
Ar ei thafod pan lefarai
Yn y dirgel ac ar g'oedd:
Ei holl blant yn awr a'i galwant
Yn fam ddedwydd, wych a gwiw;
Caiff ganmoliaeth gan ei phriod,—
Gwraig rinweddol bu hi byw.

Llawer merch yn rymus weithiodd
Yn rhagorol a di-goll;
Ond o bawb a adnabyddais,
Ti ragorist arnynt oll:
Siomiant ydyw ffafr a thegwch;
Benyw dda yn ofni Duw
Gaiff y nefoedd yn y diwedd,—
Gwaig rinweddol bu hi byw.

Capel Soar ar y mynydd,
A'i hoff blant a'i phriod dwys,
A orlenwyd gyda hiraeth,
Am ei rhoddi dan y gwys:

Nerth a gaffo 'i phlant a'i phriod
Fod yn nghwmni Crist a Duw;
Rhodio wnelont yn ei llwybr,—
Gwraig rinweddol bu hi byw.

Caiff huno 'n dawel dan y garn,
Gofelir am ei llwch gan Dduw;
Daw eto i fyny 'n nydd y farn,
Yn wraig rinweddol bu hi byw.

EVAN DAVIES.

*Llannon.*

* Gyrfa.

---

## BETH SYDD ORAU.

AI arian ai clod sydd orau—i ddyn?
Wn i ddim;—ond diau
Na "bod yn ol"—mae 'n olau—
Gwell i ddyn golli y ddau.

L. N. M.

---

## CYFFES YR AFRADLAWN.

BYW yn hir i boeni Iôn—a wnêa i,
Yn wâs sur, anffyddlon,
Rhois waew i wŷr Sïon,
A sarheis wersi aur hon.

Hyd faesydd chwant difoesau—y rhedais,
Heb bryder, yn forau,
Ar ol swynion gweigion, gau.
A sawrent fel pleserau.

Dilyn y diafl yn dalog—a wnaethum,
Yn weithiwr galluog:
A'm holl waith, rois heb ddim llôg,
Yn elw i'r gwalch halog.

Yn aflan fôd fel hyn af fi—i ofyn
Am Ddwyfol dosturi:
Iesu anwyl, ti syni
Wŷned dof yn dy waed di!

Mi heriaf y diafl aflan—i 'nghael mwy
Yn nghlwm wrth ei amcan:
O mywyd i! da 'i ddim i dân
Heb dynu Mab Duw ei hunan.

NAMORYDD.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## LLYTHYR O LYDAW ODDIWRTH Y PARCH. JAMES WILLIAMS.

Quimper, Mawrth 9, 1882.

FY ANWYL HEN GYFAILL,

Llawer llythyr a ysgrifenais oddiyma i'r DRYSORFA; a thrwy diriondeb yr Hollalluog, dyma fi unwaith eto yn cael anfon atoch ychydig linellau,—yr epistol olaf, mae yn debyg, a gâf fi byth ysgrifenu atoch o'r ddinas dra Phabaidd hon.

Mae yn agos i ddeugain mlynedd bellach er pan y cyrhaeddais Lydaw y tro cyntaf; ac yn agos i saith mlynedd ac hugain o'm heinioes a dreuliwyd yn y ddinas hon. Yn hawdd y gellwch ddychymygu fy nheimladau pan yn adolygu yr holl flynyddoedd hyny. Nis gallaswn attal fy nagrau pan yr aethum gyntaf i'r pulpud ychydig wythnosau yn ol, ac yr edrychwn ar eisteddleoedd gweigion lliaws o hen gyfeillion anwyl. Yr oedd fy hen Fibl a'm hen lyfr hymnau yno; ond y mae lleisiau amryw rai, oedd gynt yn ymuno â mi yn canu, yn awr yn ddystaw yn y bedd. Mae pobpeth o'm hamgylch yn ymddangos wedi cyfnewid. Y ddinas ei hun sydd wedi ei haddurno yn fawr; ac y mae hen dai hynod y blynyddoedd gynt wedi eu cyfnewid am adeiladau o ddullwedd diweddar. Y mae yn destun llawenydd mawr i'm henaid gael gweled dylanwad yr offeiriaid wedi lleihâu yn ddirfawr. Yn wir, cawsom yr wythnos hon brawf arbenig o hyn yn y ddinas *priest-*

*ridden* hon. Bu dros dri chant o ferched ieuainc dan arholiad, yn barotöadol i'w derbyn fel ysgolfeistresi ac athrawesau. Gynt yr oedd gan yr offeiriad ddylanwad mawr ar yr arholiadau hyn; ond, er ein llawenydd neillduol, y mae gweinidog y *Reformed Church* yn Brest yn un o brif arholwyr y dyddiau hyn; ac y mae efe yn un a berchir ac a anrhydeddir yn nodedig drwy yr holl wlad.

Tra yr ydwyf ar un llaw yn gweled gallu yr offeiriaid yn llawer llai nag yr ydoedd gynt, yr ydwyf ar y llaw arall, ysywaeth, yn gweled hefyd fod anffyddiaeth ar gynnydd, hyd yn nôd ymysg y Llydawiaid gwledig. Cawsom brofion er pan ddaethum yma fod y rhai sydd yn ymlynu wrth yr offeiriaid yn llawer mwy penboeth gyda'u crefydd nag yr oeddynt o'r blaen. Yr wyf eisoes wedi rhoddi un ffaith i rai o'm cyfeillion yn Nghymru; ond mae yn debyg fod darllenwyr y Drysorfa heb glywed am dani. Un diwrnod, yr oedd fy nghyfaill Mr. Jones a minnau yn ymweled â phentref lle y bum gynt yn gwerthu lawer o destamentau ac yn rhanu traethodau. Cyfarfuom â dyn yn ymyl tŷ yr offeiriad, a chynnygais iddo fy Hymnau Brythonaidd. Efe a dderbyniodd y llyfryn o'm dwylaw, ac yna a aeth i'r fath dymher ddrwg a ffyrnig, fel y meddyliais y buasai yn fy nharo. Ofer oedd ymresymu âg ef, ac felly ni a'i gadawsom. Cafodd fy nghyfaill Mr. Jones y diwrnod hwnw *specimen* o'r hyn y mae efe i'w ddysgwyl ar brydiau. Ond mewn lle arall, yr oedd y traethodau yn cael eu derbyn gyda diolchgarwch. Nos Sabboth diweddaf, ein cyfaill da, gweinidog Brest, a bregethodd yn ein capel; ac i wneyd hyny yn hysbys, rhoddasom bapyr mawr ar ddrws y capel. Yr oedd yr offeiriaid, mae yn ddïau, yn bur anfoddlawn o herwydd hyn; a rhai o'u creaduriaid hwy a rwygasant y papyr cân gynted ag y daeth yn nos.

Ar yr un pryd, mae yn hapus iawn i ni feddwl, os ceir tŷ yn awr lle y caniateir i ni ddarllen pennod i lïaws o bersonau, ac offrymu gweddïau, nad ydym yn agored i gael ein cymeryd i fyny gan y *police* megys yn y blynyddoedd gynt. Gall rhai o hen ddarllenwyr y Drysorfa alw i'w cof y bygythiwyd lawer gwaith fy ngharcharu am fod genyf fwy na 19 o bersonau yn fy ngwrando mewn tŷ annedd. Diolch i'r werinlywodraeth! nid yw y fath gyfraith druenus mewn grym.

Chwi a wnaech wenu pe darllenech fel y mae'r newyddiaduron ffafriol i'r offeiriaid yn llefain yn erbyn erlidigaeth. Mae yn ffaith hysbys iawn fod Eglwys Rhufain yn cwyno ei bod yn cael ei herlid pan nad allo hi erlid eraill. Felly mewn amryw barthau o Ffrainc, mae yr offeiriaid yn teimlo yn arswydus o herwydd lledaeniad heresi, ac yn cwyno yn chwerw am nad ydynt mwyach yn abl i roddi i lawr Brotestaniaeth trwy gynnorthwy yr awdurdodau gwladol. Ac y mae yn wirionedd fod y bobl mewn amryw blwyfau yn gofyn am weinidogion Protestanaidd i'w haddysgu. Y Sabbath diweddaf, yn Neheudir Ffrainc, yr oedd pentref cynnwysedig o Babyddion yn gwbl yn cyfleu eglwys a ddefnyddid gynt gan yr offeiriaid i fod yn lle i gynnal addoliad Protestanaidd. Ac yr wyf yn sicr y bydd yn dda gan ddarllenwyr y Drysorfa glywed fod hen Eglwys Calvin yn fwy effro nag y bu er ys llawer o flynyddoedd. Mae llawer o'r gweinidogion yn dyfod allan gyda zel a bywiogrwydd mawr i gyhoeddi y gwirionedd megys y mae yn yr Iesu i'r Pabyddion. Yr Arglwydd yn ei drugaredd a anfono lafurwyr i ddwyn ymlaen y gwaith gogoneddus!

Yr wyf wedi bod yn pregethu bob Sul er pan y daethum i'r wlad hon. Cefais y fraint o bregethu am dri Sabbath yn Lorient. Mewn claddedigaeth yno, yr oedd o leiaf dri chant o bersonau yn bresennol, o ba rai yr oedd dau gant a hanner yn Babyddion. Yr oeddynt yn gwrando yn ddyfal iawn; ac ni a obeithiwn y gwnaed yno ddaioni. Mae yn dda genyf eich hysbysu fod gweinidog rhagorol Brest wedi bod yn llwyddiannus i gael yn lle Mr. Braud, yr hwn sydd wedi ymadael i Cherburg, weinidog ieuanc o Ddeheubarth Ffrainc. Y mae efe i gael ei sefydlu ar y 19eg o'r mis hwn; ac yr wyf yn aros i gymeryd rhan yn y gwasanaeth. Llawenydd arbenig i'm calon ydyw na chaiff Lorient ei gadael heb weinidog efengylaidd.

Pregethais yn Brest wythnos i'r Sabbath diweddaf, pryd yr oedd llawer o Babyddion yn gystal â Phrotestaniaid yn fy ngwrando. Mae'r gweinidog yn y ddinas bwysig hono yn un rhagorol fel cenadwr yn gystal âg fel bugail. Mae llawer o'r Pabyddion wedi eu chwanegu at yr Eglwys Ddiwygiedig yn ddiweddar. Da oedd genyf gael sefyll unwaith yn chwaneg yn y pulpud yn Brest; ac ni chyhuddwch fi o falchder os dywedaf fod fy ngwasanaeth gwael yn cael ei werthfawrogi gan y gwrandäwyr. Derbyniwyd fi gan fy hen gyfeillion hoff gyda hynawsedd a charedigrwydd.

Y mae nifer mawr o filwyr yn Quimper yn bresennol, a llawer o honynt yn Brotestaniaid. Y Sul diweddaf, yr oedd y *Major* a'i deulu, *Captain*, a *Lieutenant*, a phenaeth y *police*, yn gwrando arnaf. Nid wyf wrth grybwyll hyn yn meddwl fod eu heneidiau hwy yn werthfawrocach na'r eiddo y milwyr cyffredin oedd yn wyddfodol; ond peth sydd yn effeithio yn dda ar greaduriaid rhagfarnllyd yma yw gweled pobl o sefyllfäoedd uchel yn dyfod i'n capel. Yr oeddwn yn teimlo yn ddiolchgar am fod yr hen Fethodistiaid anwyl wedi cael yr anrhydedd o adeiladu teml i'r personau milwraidd hyn, ac onidê ni buasai un lle o addoliad perthynol i'r wir efengyl yn y ddinas hon.

Dedwydd genyf yw gallu dyweyd wrthych fod fy anwyl gyfaill, Mr. Jones, yn cael derbyniad hynod groesawus yn y wlad hon. Mae efe yn gyfeillgar iawn gyda'r Protestaniaid; a siaredir yn uchel am dano hyd yn nôd gan yr holl Babyddion sydd yn gwybod rhywbeth am dano. Yr wyf yn cwbl gredu ei fod ef *the right man in the right place.*

Drwg genyf fy mod yn ymyl deng mlwydd a thriugain oed, a chymaint o wendidau corfforol ynglŷn â mi; ac onidê ni ddychwelaswn i Gymru ar un cyfrif. Yr wyf yn gobeithio ac yn gweddïo am i lawer o Genadon Cymreig fod yn Llydaw cyn hir.

Yr wyf (gyda chaniatâd Duw) yn myned i weled ein hen gyfeilles ragorol Mrs. Hawker, ac amryw o'n dychweledigion Llydawaidd, cyn y dychwelaf yna.

Ydwyf, eich hen gyfaill,
JAMES WILLIAMS.

---

### Y DECHREUWYR CANU.

BARCHEDIG SYR,—Fel un o ddarllenwyr y DRYSORFA, canfyddais yn y rhifyn am Chwefror diweddaf ychydig o sylwadau dan y penawd uchod, gan un a gyfenwa ei hun yn *Un o Feibion Asaph.* Llonais yn fawr pan welais y penawd; canys credais fod gan yr ysgrifenydd rywbeth newydd yn dyfod allan a fuasai o les i'r Cyfundeb, ac i ganiadaeth y cysegr. Yr oeddwn yn canfod wrth ddarllen yr ysgrif mai beïo y dechreuwyr canu oedd yr ysgrifenydd. A chan fy mod yn ddechreuwr canu fy hunan, teimlwyf fod yn anghenrheidiol i mi ddyfod allan i ddyweyd fy marn o'u tu.

Ni wnaf sylwadau ar yr holl ddiffygion y cyfeiria y brawd atynt. Mewn perthynas i'r anfedrusrwydd a'r annoethineb sydd yn achosi yr aflafareiddiwch, a pha rai sydd yn cael eu taflu at ddrws y dechreuwyr canu, gallaf ddyweyd nad oes dim cymaint o'r ddau flaenaf yn bod yn awr ag a fu beth amser yn ol. "Mae llawer o honoch mewn oedran," medd yr ysgrifenydd. Y mae hyny yn wir am lawer o honom. Cofier mai nid gweddus troi dros ddrws y sêdd ganu hen ŵr ffyddlawn, a dyweyd wrtho, "Dyro le i dy well." Y ffordd ddoethaf hefo hen ŵr felly a fyddai i'r gweinidog a'r blaenoriaid fyned ato mewn ysbryd cariad, a dangos iddo y priodoldeb o gael un neu ddau o ddynion ieuainc galluog i'w gynnorthwyo. Dylai y rhai hyny fod yn ddynion da eu cymeriad, ac yn gymhwys i arwain y gân. Credwyf fod cymeriad da yn llawn mor anghenrheidiol yn y codwr canu ag ydyw yn y gweinidog.

Dengys y cyfaill y rhinweddau priodol i ddechreuwr canu. Ond gadawodd allan un elfen bwysig iawn,—y bwysicaf, mi gredaf, oddigerth caffaeliad yr Ysbryd yr oedd yn son am dano. Dyna yr elfen: meddiant o wybodaeth farddonol. Dylai pob codwr canu feddiannu gwybodaeth o'r corfanau, y mydrau, a hydau pob pennill, fel na raid iddo ymddibynu ar i rif yr emyn gael ei nodi. Ofnwyf fod hyn wedi ei golli bron yn llwyr o'n plith. Rhaid cyfaddef fod ein hen dadau yn y gân yn llawer amgenach yn eu gwaith nag yr ydym ni, er yn ddiammheu fod gwybodaeth gerddorol yn llawer iawn mwy cyffredinol yn ein dyddiau nag ydoedd yn eu hamser hwy. Dylai codwr canu fod yn deall prif deithi a nodwedd pob tôn, fel ag i'w alluogi i gymhwyso yn fwy addas y dôn at y geiriau; ac heb hyn nid yw y cwbl ond amcaniaeth ddall at lywyddu. Dywed yr ysgrifenydd mai peth anghenrheidiol yn y dechreuwyr canu yw "synwyr cyffredin." Os felly, y mae *Un o Feibion Asaph* yn ddiffygiol yn y peth gwerthfawr hwn hefyd, canys y mae yntau yn "y bwndel." Dywed ein hawdwr "ei fod yn adnabyddus â llawer o honom." Os felly, ac os yw yn cyfeirio at ryw ychydig o bersonau ag sydd yn ddiffygiol yn y gwaith o arwain caniadaeth y cysegr, onid ei ddyledswydd ef yw myned at y cyfryw yn bersonol a'u hargyhoeddi yn garedig o'u hamryfusedd a'u hannoethineb? Hyny a ddysga y Bibl. Dywed ein hawdwr y byddai ambell un yn barod i ddyweyd y deuai helynt mawr o symud rhai o ddechreuwyr canu, a dadgana ei farn fod y "Corff" yn alluog i ddal triniaeth o'r fath. Diau y byddai *row* yn lled debyg o gyfodi, ac yn enwedig pe rhoddid y rhai hyny sydd mor awyddus am gael swydd "esgob y gân" a hwythau heb y cymhwysderau priodol. Nis gwn yn iawn pa un ai corff y codwr canu, ai ynte Corff y Methodistiaid Cymreig a feddylia yr ysgrifenydd wrth y "Corff." Ond waeth pa un, mae digon o bwysau yn y naill a'r llall o'r "cyrff" hyn, fel na raid iddo ofni yr un helynt o gwbl os trinir y mater yn ysbryd yr efengyl.

Gofyna, "A raid i ni fyth a hefyd fod yn rhy dyner i weinyddu cyfiawnder ar anghymhwysderau swyddol?" Atebaf: Na raid, oblegid nid oes derbyn wyneb i fod gyda chrefydd. Os ydyw *Un o Feibion Asaph* yn credu mewn gweinyddu cerydd ar y dechreuwyr canu, paham na ddaw allan yn briodol, heb lèn na ffugenw, a rhoddi y cerydd hwnw? Peth dymunol gan bawb dan gerydd yw cael gwybod *pwy* a *pha fath* yw y ceryddwr. Os oes rhai dechreuwyr canu wedi sathru ar gyrn bodiau traed *Un o Feibion Asaph*, a raid iddo feïo y brodyr oll? Dywed wrthym fod annoethineb y dechreuwyr canu wedi dyfod yn deimladwy mewn Cymdeithasfa yn ddiweddar. Tra yr oedd y pregethu yn rhagorol, a'r hymnau yn swynol, yr oedd y tônau yn anmhriodol "er eu bod yn dônau da;" ac nis gallai y gynnulleidfa eu canu. Felly yr ydym i ddyfod i'r penderfyniad mai yr annoethineb y cyfeiriwyd ato oedd analluogrwydd y gynnulleidfa i ganu y tônau a roddwyd allan yno. Dichon i'r dechreuwr canu fod yn credu mai y dôn a'r dôn fyddai yr oreu i'r geiriau a roddid allan ar y pryd; ond gan fod y gynnulleidfa yn cael ei gwneyd i fyny o bobl o wahanol gynnulleidfäoedd, ac wedi arfer canu gwahanol dônau i'r un geiriau, ac yn analluog i ymuno â'u gilydd i ganu y dôn y cyfeiriwyd ati, a yw yn gyfiawn rhoddi y bai ar y dechreuwr canu? Cofier mai creadur meidrol yw y dechreuwr canu, ac mai dyn heb fod yn brophwyd nac yn fab i brophwyd yw. I wneyd i ffordd â'r anffawd yn y dyfodol, cynghorwn *Un o Feibion Asaph* i ddwyn penderfyniad o flaen y Gymdeithasfa i'r perwyl,—fod yn anghenrheidiol ac yn dra dymunol cael cyfarfodydd i ddysgu canu tônau cynnulleidfäol yn gysylltiol â phob eglwys. Ond fe ddichon fod ein hawdwr yn gwybod am gyfarfodydd felly eisoes. Os yw, hoffwn gael gwybod ganddo, Pa faint o gynnorthwy a roddir ganddo iddynt? Fe allai y dywed wrthym hefyd, os yw yn perthyn i gôr, ymha beth y bydd yn cael fwyaf o bleser,—ai yn mharotoi y côr gogyfer â chanu tônau cynnulleidfäol, ynte gogyfer â chanu anthemau, &c., mewn

cystadleuon cerddorol? Gyda'ch caniatâd, Mr. Golygydd, bydd yn dda genyf, fel dechreuwr canu, ddyweyd gair ymhellach dan y penawd hwn mewn rhai o rifynau dyfodol y Drysorfa. Felly gadawaf ran olaf o lythyr *Un o Feibion Asaph* heb wneyd dim sylw arno.—Yr eiddoch, &c.,

DECHREUWR CANU.

# Y Wasg.

KOHELETH: *sef Cyfres o Bregethau. Gan y Parch.* W. REES *(Hiraethog), Caerlleon (gynt o Lansannan).*

Llundain: R. Samuel, City Buildings, Cattle Market, N.

PWY bynag sydd yn gofyn beth yw ystyr y gair *Koheleth* a gaiff hyny ar wynebddalen y llyfr hwn, ynglŷn â'r adnod a ddodir yn arwyddair: "Chwiliodd y Pregethwr *(Koheleth)* am eiriau cymeradwy; a'r hyn oedd ysgrifenedig oedd uniawn, sef geiriau gwirionedd." *Koheleth*, fe welir, yw y gair gwreiddiol a gyfieithir yn BREGETHWR yn y llyfr a elwir felly.

Gŵyr y rhan fwyaf yn Nghymru fod *Hiraethog* yn fardd a phrif-fardd; a gŵyr pawb o'r Cymry, dybygem, ei fod yn bregethwr a phen pregethwr; ac felly dylai cyfres o bregethau y *Koheleth* hwn fod yn dderbyniol iawn yn y Dywysogaeth. Yr ydym yma yn ei gael ef yn ei ysgrifenu ei hun yn W. Rees, heb arddelwi y D.D. y cafodd ei anrhegu âg ef; a chlywsom ein hawdwr lawer gwaith yn dadgan ei anhoffder o wisgo y teitl doctoraidd. Ond fe fyn ei gyfeillion, a'i gydgenedl yn gyffredinol, ei gydnabod yn Ddoctor Duwinyddiaeth, am y credant ei fod yn cyfiawn deilyngu yr anrhydedd, fel na waeth iddo bellach foddloni i gael ei deitlo yn Dr. Rees.

Yr ydym yn cael unoliaeth a chysondeb mawr yn materion y pregethau sydd ger ein bron. Dyma hwy fel y cawn eu teitlau yn y *Cynnwysiad:*—Yr Hanfod Dragywyddol—Annibyniaeth Duw—Mawredd Duw—Gwirionedd Duw, neu y Llwon Dwyfol—Cariad Duw—Amynedd Duw—Trugaredd Duw—Doethineb Duw—Llywodraeth Duw—Hollwybodaeth a Hollbresennoldeb Duw—Llyfr Duw (dwy bregeth)—Cysegr Duw—Barnedigaethau Duw—Efengyl Duw (dwy bregeth)—Gwaith Duw (dwy bregeth)—Dyn Duw—Gwas Duw.—Gweinidogaeth Ysbryd ac Eglwys Dduw—Angylion Duw. Dywedir yn y rhaglith "At y Derbynwyr,"—

"Drwg oedd genyf orfod gadael allan amryw o bregethau yr amlygodd rhai cyfeillion eu dymuniadau am eu cael yn y gyfrol hon; hyny fu 'am nad oedd iddynt le yn y llety.' Wedi dyfod o honof i'r penderfyniad i ddwyn y gyfrol allan, teimlwn yn awyddus ar fod i gyfran arbenig o honi gyfarfod i ryw raddau âg amgylchiadau neillduol yr amser presennol hwn, pan y mae llifeiriant Annuwiaeth, Anffyddiaeth, a Defodaeth, yn dyrchafu eu twrf a'u tònau mor uchel o'n hamgylch."

Yr ydym yn cofio llïaws o bregethau a glywsom gan Dr. Rees, y rhai y tybiwn oedd yn dangos mwy o'i ddawn desgrifiadol a barddonol, ac o'i ddull cyfeiriol a rhydd-ymddyddanol, nag amryw o'r pregethau a gofnodir yma; a da iawn fyddai genym weled y rhai hyny hefyd yn argraffedig. Ond nid oes yr un o bregethau *Koheleth* yn annheilwng o'u hawdwr hybarch; ac yr oedd efe yn dewis y rhai hyn, am ei fod yn credu eu bod yn fwy cyfaddas "i sefyll ac aros yn dystiolaeth o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint, wedi iddo ef fyned o'r golwg." Addefwn ein bod yn edrych braidd gyda phetrusder ar gyflead pregeth *Yr Ysbryd a'r Briodasferch* gyda phregethau y gyfrol hon; o herwydd nis gallwn anghofio y cynhwrf a achlysurodd yn yr adeg y cyhoeddwyd hi gyntaf, dros ddeugain mlynedd yn ol; ond erbyn edrych drosti yn fanylach, fel ei ceir yma, yr ydym yn cael nad oes ond ychydig iawn o eiriau neu linellau ynddi y dymunasem eu newid neu eu gadael heibio; a dywed y pregethwr, "Cofier o hyd nad wyf yn dadleu yn erbyn penarglwyddiaeth yr Ysbryd—y mae ei holl waith yn benarglwyddiaethol a grasol i gyd—ond yn erbyn y penarglwyddiaeth dychymygol o fod ganddo ryw dymmorau neillduol i weithio, ac na weithia ond ar y tymmorau hyny beth bynag a fyddo teimlad ei eglwys—y gall hi fod yn effro, yn deimladol a gweithgar, yn ymarfer â phob moddion â'i holl egni, ac yntau yn sefyll draw ac yn cuddio ei wyneb." Pa fodd bynag, ni cheir yn yr holl bregethau eraill ond "y pethau a gredir yn ddiammheu ymhlith" holl grefyddwyr efengylaidd Cymru, a'r pethau hyny yn cael eu gosod allan yn y modd cadarnaf a mwyaf deniadol. Y bregeth a deitlir, "Gwas Duw" sydd bregeth angladdol a draddododd Dr. Rees ar farwolaeth ei anwyl frawd, un o dywysogion penaf pulpud Cymru,—y Parch. Henry Rees; a digon yw dywedyd fod y bregeth hon yn deilwng o'r gwrthddrych a gofnoda, ac hefyd o'i thraddodydd.

Hyderwn y bydd llyfr hwn y *Koheleth* yn nwylaw ein cyfeillion yn gyffredinol,

ac y cyflawnir dymuniad ein hanwyl gyfaill parchedig "ar iddo ddwyn lles a bendith i bob tŷ y caffo dderbyniad i mewn."

Nis gallwn ymattal rhag rhoddi dyfyniadau o flaen ein darllenwyr, er y teimlwn gryn anhawsder pa bethau i'w dethol o'r cyflawnder goreuon a welwn o'n blaen.

Dyma ddarluniad nodweddol iawn o'r waredigaeth trwy'r Môr Coch, yn seiliedig ar ymadrodd Habacuc fod Duw yn "marchogaeth ar gerbydau ei iachawdwriaeth:"—

"Ar y pedwerydd dydd ar ddeg o fis Abib (ein Mawrth ni), ar ben y ddegfed flwydd ar hugain a phedwar cant o breswyliad meibion Israel yn yr Aipht, cychwynodd cerbydres *(train)* iachawdwriaeth o orsaf Rameses, â chwe' chan' mil o wŷr, heblaw gwragedd a phlant, o *bassengers* ynddo, o dan nawdd a gofal yr YDWYF tragywyddol ei hun. Safodd enyd yn ngorsaf Succoth, cychwynodd oddiyno, a chyrhaeddodd orsaf Migdol yn ddiogel. Pa fodd yr ä ymlaen yn awr? Y mae trên arall, trên natur a rhagluniaeth, *luggage train*, yn union o flaen trên iachawdwriaeth, sydd wedi bod yn rhedeg yn y llinell gyferbyniol iddo, yn ol ac ymlaen, am oesau olynol. Os rhêd y llall ymlaen yn awr, bydd yna *golisiom* a dinystr ofnadwy yn union. Ac och! dyna sŵn trên Pharaoh, yn cynnwys ei holl fyddin, yn feirch a marchogion a gwŷr traed, yn nesâu. Y mae trên yr iachawdwriaeth, a'r holl deithwyr sydd ynddo wedi cau arnynt, mewn sefyllfa arswydus, fel nas gall symud yn ol nac ymlaen. Dyma yr adeg i'r YDWYF yn y berth ogoneddu yr enw hwnw. 'Sefwch ac edrychwch.' Yr oedd EFE yn myned o flaen ei drên, ac yn dal goleuni iddo yn y nos; a phan y daeth at linell hen drên natur a rhagluniaeth, parodd iddo sefyll a *shuntio*—cilio yn ei ol, cilio o'r ffordd; ac ymlaen â thrên iachawdwriaeth ar draws llinell y llall, ar gledrffordd newydd a wnaethai yr enyd hono ar waelod y môr ar dir sych. Yr oedd tren Pharaoh yntau yn gyru ymlaen ar ei ol ar ruthr; ond wedi i drên iachawdwriaeth gyrhaedd yr orsaf nesaf, rhoddodd Llywydd trên yr iachawdwriaeth *signal* i hen drên rhagluniaeth gychwyn ymlaen; ac ymlaen yr aeth yn ei nerth ar draws trên yr Aipht, gan ei dori a'i ddryllio yn chwilfriw, fel y darfu am dano, a phob un oedd ynddo."

**Am Dduw fel esiampl o gymwynasgarwch a haelfrydedd, dywedir,—**

"'Rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu,' medd yr apostol. Rhoddwr felly ydyw Ef ei hun; 'rhoddi i bawb;' 'diwallu pob peth byw â'i ewyllys da.' Y mae ein Tad yn y nefoedd yn caru ein gweled ninnau, ei blant ar y ddaear, yn debyg iddo yn hyn. Rhoddodd wên lawen ar wyneb pob goruchwyliwr a drefnodd Efe i wasgaru ei roddion. Mor llawen yw gwedd yr haul! 'Hyfryd i'r llygad ei weled' ef, sydd fel gŵr priod yn dyfod allan o'i ystafell bob bore, 'ac a ymlawenhâ fel cawr i redeg gyrfa' o gymwynasgarwch bob dydd—i lenwi bydoedd â goleuni a gwres. Nis gwelsom olwg surllyd, anfoddog, ar ei wyneb ef erioed. Wedi iddo guddio ei wyneb ar ei fachludiad yn yr hwyr, gwelir ei belydron olaf yn dawnsio ac yn chware, fel ŵyn bach ar ochrau ein mynyddau. Golwg lawen sydd ar y maes yn y gwanwyn a'r haf, pan y mae ei flodau a'i laswellt yn gwahodd yr anifeiliaid i wledda arnynt. Yr unig oruchwyliwr sydd yn edrych yn ddu, ac megys yn wgus wrth gyfranu ei ddoniau, yw y cwmwl. Bydd golwg ddigllawn arno ef weithiau, pan yn cyhoeddi ei fygythion mewn mellt a tharanau. Ond ni phery ei ŵg yn hir; ymdywallta yn wlaw bendithiol ar y ddaear; egyr ei enau, a thywallta ei belydrau, fel y bydd gwenau yn chware ar ei wefusau tewion, a'i enau megys wedi ei lenwi â chwerthin, ac fel yn dywedyd wrth y ddaear a'i thrigolion, 'Peidiwch a dychrynu; nid wyf fi ddig.' Drwy y pethau hyn oll, y mae ein Tad trugarog megys am ein toddi â'i garedigrwydd a'i gymwynasgarwch i'r un dymher haelfrydig a chymwynasgar âg Ef ei hun, ond yn benaf oll drwy 'ei gymwynasgarwch i ni yn Nghrist Iesu.'"

**Da fyddai i lïaws o grefyddwyr dalu ystyriaeth i'r sylw canlynol am sirioldeb yn ngwasanaeth yr Arglwydd:—**

"Aeth yn dybiaeth, rywfodd, yn meddyliau dynion fod crefydd a gwasanaeth Duw yn gofyn wyneb pruddaidd ac athrist i'w gyflawni; a'r pruddaf ei wêdd, a'r amlaf ei ocheneidiau, a gyfrifid yn fwyaf sanctaidd a duwiol, pan y mae lleferydd y Bibl, yn yr Hen Destament a'r Newydd, yn dysgu yn hollol wahanol. Yn eu masnachdai, ac yn y ffeiriau a'r marchnadoedd, y maent yn fywiog a siriol; ond yn nghynteddau yr Arglwydd nid oes wawr na llewyrch ar eu gwêdd. Y mae sirioldeb a llawenydd yn ngwasanaeth Duw yn ei dŷ yn ddyledswydd sydd yn cael ei gorchymyn lawer gwaith yn y Bibl; y mae holl wirioneddau ac addewidion y gair yn llawnion o ddefnyddiau llawenydd, a'r gwirionedd a fu dan ein sylw [llywodraeth Duw ar bob peth] yn arbenig felly. Gwyn fyd na ellid perswadio credinwyr i gredu y gwirionedd hwn hefyd, sef fod prudd-der wyneb a surni gwêdd yn sarhâu Duw yn ei gysegr, ac yn warthruddiad ar yr efengyl "y newyddion da o lawenydd mawr.' 'Hyn hefyd eilwaith a wnaethoch,' medd yr Arglwydd wrth ei bobl gynt, 'gan orchuddio â dagrau allor yr Arglwydd drwy wylofain a gweiddi, fel nad edrych efe mwyach ar yr offrwm, ac na chymer ef yn foddlawn o'ch llaw chwi' (Mal. ii. 13). Yr oedd yn berygl bywyd i un o weision breninoedd y dwyrain gynt ymddangos ger eu bron yn brudd ac athrist; a hyny a barodd i Nehemïah 'ofni yn ddirfawr' pan ofynai brenin Persia iddo un diwrnod, 'Paham y mae dy wynebpryd yn drist a thithau heb fod yn glaf?' Yr oedd y gwasanaeth a gyflawnai eu gweision yn anghymeradwy ganddynt os edrychent yn drist ac yn bruddaidd wrth ei gyflawni. Felly y dywedai yr Arglwydd wrth ei bobl yntau trwy y prophwyd Malachi."

Gwrandawer ar yr hen bregethwr profedig yn dyweyd ei feddwl ar y pwnc pwysig ac amserol o adfywiad crefyddol :—

"Pa bryd y daw eglwys Dduw i ymaflyd o ddifrif yn y weddi—i Dduw *fywhâu ei waith a pheri gwybod*, fel na ddystawo ac na adawo lonydd i'r nefoedd, hyd oni chyfodo a thrugarhâu wrth Sïon, a'i gwneuthur hi eto yn foliant ar y ddaear? Nid oes dim arall nad hyn a feddyginiaetha yr eglwys ei hun, ac a ddwg y byd i drefn. Y mae pob dyfais a moddion dynol wedi methu. 'Cyfododd oes arall' i fyny yn Nghymru erbyn hyn, yr hon nid adnabu yr adfywiadau nerthol ar grefydd a brofodd ac a adnabu ein tadau : oes galed iawn, oes y *concerts* a'r difyrwch, oes y cyfarfodydd llenyddol a'r coegfeirniadu, oes y nofelau a'r rhamantau, oes y newyddiaduron a'r cecru. Y mae'r pethau hyn, ond nithio eu manus a'u gwehilion oddiwrthynt, yn burion yn eu lle eu hunain. Ond pan y maent yn dyfod yn brif nodweddion yr oes a'r amser, ac yn cymeryd lle a berthyn i'r Bibl a'r efengyl yn meddyliau cenedlaeth o bobl, fel yn awr y mae lle i ofni, y maent yn peri llawer mwy o niwed nag o lês. Eto, gyda golwg ar yr eglwysi efengylaidd yn gyffredinol, fel y crybwyllwyd o'r blaen, a dylid ei grybwyll drachefn a thrachefn: blynyddoedd o farweidd-dra a dirywiad mawr mewn crefydd a fu blynyddoedd lawer bellach; blynyddoedd na bu 'deheulaw y Goruchaf' yn cael ei dadguddio yn amlwg ynddynt; amser y ceir llawer sydd yn proffesu'r gwirionedd yn ei ammheu, a lliaws yn troi oddiwrtho ac yn ei wadu; meddyliau dynion wedi eu meddiannu gan ysbryd anfoddog, anesmwyth, ac anhydrin—eisieu rhywbeth yn lle yr hen wirioneddau, pethau newyddion, termau newyddion—ac ni wnai y pethau hyny y tro ychwaith ond am foment pan eu cynnygir iddynt; oes y cynhenau a'r ymddadlu ynghylch pethau bychain, y prif gadeiriau yn y synagogau, a phwy sydd i fod yn benaf, &c. Nid oes dim a iachâ yr eglwys, a'r byd hefyd, oddiwrth yr heintiau hyn, nes y delo yr Hwn a biau'r gwaith drwy ei Ysbryd eto i fywhâu ei waith, ac i beri gwybod. Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd, ac nid neb na dim arall, a'i hymlid ef ymaith."

Nodiadau cynhyrfiol yw y rhai a geir am bechaduriaid fel dyledwyr i Dduw :

"Dyma a ddywed y gwirionedd am danom ni ddynion, 'Pawb a bechasant, ac a aethant yn ol am ogoniant Duw.' Nid oes un ymadrodd a ddengys gyflwr truenus y creadur yn fwy na hwn : 'yn ol am ogoniant Duw.' Yn ol y *Peshito* Syriaeg, un o'r copïau hynaf, os nad yr hynaf oll, o'r Testament Newydd, 'A fethasant am ogoniant Duw'—a aethant yn fethdalwyr. Felly yr ydym ni oll wedi ein *gazetio* yn fethdalwyr ar lyfrau'r Llywodraeth, a hithau yn parhâu byth i'n gofyn am y deyrnged. Y mae mawr ofal calon ar filoedd o ddynion bob dydd rhag myned yn ol yn y byd—methu talu eu ffordd, fel y dywedwn; llawer yn methu cysgu na bwyta gan bryder ac ofn methu talu eu hardreth, ac ateb i'w gofynwyr, na ddarfu iddynt feddwl na phryderu am fynyd erioed o herwydd eu bod wedi myned yn ol am ogoniant Duw, yn fethdalwyr ar lyfrau'r nefoedd; methu yn y peth mawr, mwyaf o bob peth, methu yn y berthynas â Duw, ac amcan a dyben uchaf bodolaeth y creadur. Ac unwaith y delo'r creadur i sylweddoli y syniad hwn am dano ei hun, y mae pob peth arall yn cilio o olwg ei feddwl, ac yntau yn gwaeddi, 'Pa beth a wnaf?' Yma y mae yr efengyl yn ei gyfarfod—ac ni buasai hi yn efengyl erioed iddo cyn hyn, ac yn dywedyd wrtho, 'Ha fab, cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau ;' a dyna *certificate* i'r methdalwr, yn ei ryddhâu oddiwrth yr holl ofynion oedd gan y Llywodraeth yn ei erbyn, ac yn ei osod ar dir newydd i ail-ddechre *business* bywyd eto, gan ei 'greu' o'r newydd 'yn Nghrist Iesu i weithredoedd da,' fel y byddo 'er mawl gogoniant ei ras Ef.' I'r amcan a dyben bywyd ag oedd iddo yn y greadigaeth gyntaf y creuir ac y llunir ef yn y greadigaeth newydd ; nis gall fod un dyben arall i'r naill nac i'r llall.

"Caniatäer i mi ofyn, A ydych yn foddlawn ac yn barod yn awr i dalu treth y Brenin? Rhaid ei thalu ryw fodd, ryw bryd. 'Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw, cyn iddo ef ddwyn tywyllwch, a chyn i chwi daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll, a thra fyddoch yn dysgwyl am oleuni, iddo ef ei droi yn gysgod angeu, a'i wneuthur yn dywyllwch.' 'Addunedwch a thelwch i'r Arglwydd eich Duw.' Ië, addunedwch a thelwch. Y mae llawer o honoch wedi addunedu lawer gwaith, ond heb dalu na dechre talu eto. 'Pan addunedech adduned i Dduw, nac oeder ei thalu, canys nid oes ganddo flas ar rai ynfyd; y peth a addunedaist, tâl.' Na, 'nid oes ganddo flas ar rai ynfyd ;' a rhai ynfyd i'r eithaf yw y rhai hyny sydd dan weinidogaeth yr efengyl yn addunedu dychwelyd, a dim ond hyny, trwy y blynyddoedd. Nid oes gan y gofynwr flas ar y dyledwr hwnw sydd yn addaw talu ei ddyled bob tro y dygwyddo iddo gyfarfod âg ef, a byth yn cyflawni, nac yn ceisio chwaith. Dywed y gofynwr o'r diwedd ei fod wedi blino ar ei addewidion gweigion, ac y byddai yn haws ganddo ei ddyoddef pe dywedai yn groew nad oedd yn meddwl talu byth. Addunedwr heb dalu! y mae'r nefoedd wedi diflasu ar dy addunedau trwy'r blynyddoedd. 'Gwell i ti fod heb addunedu nag i ti addunedu a bod heb dalu.' Y peth a addunedaist, tâl. Tâl yn awr; ni ddeui yn fwy abl i dalu byth nag wyt yn awr. Gochel flino a diflasu y nefoedd yn hŵy â gwag addunedau a choeg amcanion. 'Cyttuna â'th ofynwr ar frys, tra fyddech ar y ffordd gydag ef, rhag iddo dy roddi di yn llaw y barnwr, ac i'r barnwr dy roddi di at y swyddog, a'th daflu yn ngharchar. Yn wir, meddaf i ti, ni ddeui di allan oddiyno hyd oni thalech y ffyrling eithaf.' Y mae lluoedd o hen addunedwyr, fel y sydd yma yn awr, y diflasodd y nefoedd ar eu haddunedau, 'wedi eu rhoddi yn llaw y Barnwr,' ac at y swyddog, a'u bwrw yn ngharchar, yn talu o hyd, ond heb dalu y

ffyrling gyntaf eto, na gobaith gwneyd hyny byth. Y mae rhywrai yn y dyddiau hyn yn ceisio dal gobaith i'r dyledwyr a'r methdalwyr a elont i'r carchar hwnw, y deuant allan rywbryd; ond y mae Efe, yr hwn y mae agoriadau uffern a marwolaeth ganddo, yn dywedyd, 'Yn wir, meddaf i ti, ni ddeui di allan oddiyno hyd oni thalech y ffyrling eithaf.' Na, nid oes modd dyfod allan byth o'r carchar hwnw; ond y mae modd peidio myned iddo, trwy gyttuno â'r Gofynwr ar y ffordd."

---

Y TESTAMENT NEWYDD DIWYGIEDIG: *neu, Y Cyfnewidiadau a gynnwysir yn yr Adolygiad o'r Testament Newydd Saesoneg, a gyhoeddwyd yn* 1881. *Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan y Parch.* JOHN OGWEN JONES, B.A., *Rhyl.*

Dinbych: Thomas Gee.

DIGON, er hysbysrwydd ac eglurhâd i'r darllenydd, yw i ni ddodi yma yr hyn a ddywed y cyfieithydd parchedig am gynnwysiad ac amcan y llyfr Cymraeg hwn:—

"Gwelir ar unwaith, wrth sylwi, mai nid cyfieithiad ydyw'r llyfr hwn o'r Adolygiad o'r Testament Newydd Saesoneg, ond yn hytrach cyfieithiad o'r cyfnewidiadau a wnaed gan yr adolygwyr yn y Cyfieithiad Awdurdodedig Saesoneg, o'r Testament Newydd. Y bwriad cyntaf ydoedd rhoddi yn unig y cyfnewidiadau mwyaf pwysig a dyddorol; ond wrth fyned ymlaen, estynwyd y cynllun yn ol dymuniad y cyhoeddwr, fel ag i gynnwys yn rhinweddol yr oll ymron o'r cyfnewidiadau. Gadäwyd allan y newidiad ar rai o'r enwau priodol, am fod y gwahaniaeth mor ddibwys. Gadawyd allan hefyd aml air, ac weithiau ymadrodd, ag yr oedd yn anmhosibl rhoddi yn y Gymraeg eiriau ac ymadroddion cyfatebol i'w gwahaniaethu, megys er engraifft, *Ghost* a *Spirit*, &c. Yn chwanegol at y cyfnewidiadau uchod, mae y cyhoeddwr wedi rhoddi yma a thraw engreifftiau o'r gwahaniaethau sydd rhwng y Testament Cymreig a'r un Seisonig mewn lleoedd ag y mae y cyfieithiad a'r adolygiad yn cyttuno. Nid oedd hyny yn cyd-daro yn fanwl â chynllun y llyfr; ond gall fod yn ddyddorol i ddosbarth o ddarllenwyr, sef, y rhai sydd yn gwbl anghyfarwydd â'r Testament Saesoneg. Nid ydys wedi ymgais at roddi i lawr y gwahaniaeth effaith, yn hytrach nag ystyr, sydd yn canlyn cyflëad gwahanol i eiriau a brawddegau yn yr adolygiad o'i gymharu â'r cyfieithiad cyntefig. Gwelir mewn rhai engreifftiau fod yr holl adnod yn cael ei rhoddi fel y mae yn y Testament Cymraeg, a'r cyfnewidiadau yn y cyfryw adnod rhwng y cyfieithiad a'r adolygiad yn cael eu dodi o dani. Ond yn y rhan fwyaf o engreifftiau, rhoddir i lawr y rhanau o'r adnodau sydd yn cynnwys y cyfnewidiadau, gyda nodau dyfyniadol; a lle byddo mwy nag un o'r cyfryw yn yr un adnodau, dodir nodau fel hyn . . . . . .; i arwyddo fod y rhanau rhyngddynt yn aros fel o'r blaen. Dodwyd y nodau hyn rhag chwyddo maintioli a phris y llyfr. A chan fod pawb yn meddu y Testament Newydd Cymraeg cyflawn, gallant gymharu â hwnw; ac i'r rhai a wnânt hyny, bydd yr ymarferiad ei hun yn lleshâd, trwy eu dwyn i ryw raddau i sefyllfa o weithredu, yn hytrach na'u bod yn gwbl oddefol. Canfyddir hefyd fod pob ymdrech wedi ei wneuthur i beidio newid ond yn unig y geiriau a'r ymadroddion hyny ag sydd yn cynnwys y gwahaniaethau rhwng y Cyfieithiad Awdurdodedig a'r adolygiad. Ond y mae'r cyhoeddwr (yn groes i farn y cyfieithydd) wedi pwyso ar newid rhai geiriau a brawddegau hynafiaethol i rai mwy diweddar a dealladwy i'r cyffredin, megys er engraifft, 'mwyach' yn lle 'hayach,' yn *Gal.* iii. 18, a 'ffrwythau' yn lle 'aeronau,' &c. Rheol yr adolygwyr ar hyn ydoedd, peidio newid geiriau hynafiaethol, ond yn unig lle byddent wedi myned yn annealladwy i'r werin, neu yn tueddu i gamarwain y darllenydd o ran deall yr ystyr; a cheisiwyd cadw at yr un reol wrth gyfieithu y cyfnewidiadau i'r Gymraeg. Hwyrach y dylid egluro, er mwyn un dosbarth o ddarllenwyr, nad ydys i olygu fod yr holl frawddeg, hyny ydyw, pob gair ynddi, yn cynnwys cyfnewidiad. Yn aml nid oes ond un gair mewn brawddeg yn gyfnewidiad, megys er engraifft, *Eph.* iii. 19: 'fel y'ch cyflawner i [neu 'hyd'] holl gyflawnder Duw'—yn lle fel yr oedd o'r blaen, 'fel y'ch cyflawner â holl gyflawnder Duw.' Yr unig gyfnewidiad yn y frawddeg uchod, fel y gwelir, ydyw y newidiad o 'i' am 'â'; ond y mae yn newidiad pwysig yn yr ystyr er hyny. Rhoddir y geiriau amgylchynol er mwyn cyflawni yr ystyr. Gellir gofyn paham na buasid yn argraffu yr holl Destament gyda'r cyfnewidiadau fel y maent. Heblaw y rheswm a nodwyd eisoes, gellir chwanegu fod y prif wahaniaethau, trwy y cynllun a fabwysiadwyd, yn cael eu crynhoi a'u gosod o flaen y llygaid yn fwy eglur a manteisiol nag y buasent yn ol y dull arall. Y mae'r gorchwyl o chwilio allan pa gyfnewidiadau sydd rhwng y Cyfieithiad Awdurdodedig a'r Adolygiad yn y dull a fabwysiadwyd wedi ei wneuthur yn barod i fesur mawr i'r darllenydd. Yn yr ystyr hwn, gallai fod yn fanteisiol i ddarllenwyr Seisonig gael cyflëad cyffelyb yn yr iaith hono, pe caffai rhyw un ar ei feddwl wneuthur hyny. Ac i'r rhai sydd yn deall yr ieithoedd Seisonig a Chymreig, y mae cynllun y llyfr hwn yn ateb y ddau ddyben, sef, yn gyntaf, o gyfieithu y cyfnewidiadau i'r Gymraeg, ac, yn ail, o'u cyfleu ar wahân, ac mewn trefn, fel y dygwyddant, o bennod i bennod."

I'r neb sydd yn anghyfarwydd yn yr iaith Saesoneg, neu y Cymro uniaith, y mae'r llyfr hwn o werth yn benaf, er mwyn iddo allu gweled pa gyfnewidiadau a wnaed yn y Testament Newydd Seisonig diweddaraf; ac y mae yn hylaw i'w ddefnyddio gan athrawon ac ysgoleigion ein Hysgolion Sabbothol.

*Hand-Books for Bible Classes.* THE BOOK OF JOSHUA. *By* GEORGE C. M. DOUGLAS, D.D., *Principal of the Free Church College, Glasgow.*

Edinburgh: T. & T. Clark. 1882.

CAWSOM o'r blaen, yn nghyfres werthfawr yr *Hand-Books* Biblaidd hyn, esboniad rhagorol gan Dr. Douglas ar Lyfr y Barnwyr; ac yn awr wele oddiwrtho ef agoriad cyffelyb ar Lyfr Josua. Er nad yw hwn, mwy na'r llawlyfrau eraill, yn helaeth o ran maintioli—122 o dudalenau—rhaid ei fod wedi costio llafur mawr ac ymchwil i'w awdwr; ac y mae yn rhoddi mewn cylch cryno hysbysrwydd am y lleoedd, ac eglurhâd ar yr amgylchiadau, a nodir trwy y llyfr. Cymerer yr hyn a ganlyn fel dangoseg:

Pen. xviii. 1: "A holl gynnulleidfa meibion Israel a ymgynnullasant i Siloh, ac a osodasant yno babell y cyfarfod; a'r wlad oedd wedi ei darostwng o'u blaen hwynt." Y mae Siloh yn awr yn adfail ar fryn, adnabyddus fel Seilûn, prin ugain milldir i'r gogledd o Jerusalem, ac yn llawn 11 milldir i'r dwyrain o Nâblus neu Sichem. Fe allai na bu erioed o bwysigrwydd gwladol fel dinas, ond yn gwbl ddyledus i'w sefyllfa eglwysaidd; ac am hyny, ar ol cymeryd yr arch o honi, 1 Sam. iv., gallai yn hawdd fyned allan o sylw. Yn wir, pe buasai yn para i fod yn lle o un pwys, mae agos yn ddiammheuol y buasai Jeroboam yn ei dewis fel un o eisteddfëydd yr addoliad a osodwyd i fyny ganddo; ond yn lle hyny, yr oedd ei chyflwr adfeiliedig yn ei gwneyd yn gartref cymhwys i Ahïah y prophwyd, a brophwydodd ddinystr yr Israel ddaearol, 1 Bren. ix. 29—39; xiv. 2—16. Josephus a ddywed i Josua ei dewis yn orphwysfa amserol i'r babell ar gyfrif ei phrydferthwch, tra y mae eraill yn cael y rheswm am hyny yn ei sefyllfa ganolbarthol; ond gallesid dwyn ymlaen resymau o'r fath am leoedd eraill, megys Sichem, a'r hon a allasai hòni manteision chwanegol yn perthyn iddi ei hun. Yr ydym ni fel hyn yn cael ein cau i fyny i gredu mai'r Jehofah ei hun a ddewisodd Siloh fel lle i'w arch, a'r hyn a gadarnheir gan Deut. xii. 11, a Jer. vii. 12. Ac yn ddiau y mae sail dda i'r syniad fod yr enw yn gysylltiedig rywfodd â'r Silo yn Gen. xlix. 12, yn arwyddo "tangnefedd" neu "dangnefeddol;" ac felly fod yr enw oedd arni eisoes, neu yn cael ei roddi yn awr iddi am y tro cyntaf, fel gorphwysfa yr arch, yn fynegiadol o ffydd gadarn yn nyfodiad y Person a fyddai yn rhoddydd tangnefedd ac yn wir adeiladydd teml yr Arglwydd. Cawn yma weithrediad difrifol y gynnulleidfa wedi dyfod ynghyd i osod i fyny yno, neu yn fwy llythyrenol, i gyfleu, neu beri arosiad Pabell y Cyfarfod, y man a benodwyd gan y Jehofah i gyfarfod â'i bobl, Exod. xxv. 22; xxix. 42, 43; xxx. 36. Nid yw amseriad y gosodiad hwn yn hysbys; yn unig fod yr ymadrodd, "A'r wlad oedd wedi ei darostwng o'u blaen hwynt," yn nodi mwy o gynnydd na'r ymadrodd, "A'r wlad a orphwysodd heb ryfel," xi. 23; xiv. 15. Yr oedd y "tabernacl Siloh" hwn wedi ei osod o fewn tiriogaeth Ephraim; ac wedi i Siloh gael ei gadael, ac i'r Arglwydd ddewis Jerusalem fel y lle yr oedd ei enw i drigo ynddo, y mae'r Salmydd yn gwneyd sylw fel yr oedd y flaenoriaeth wedi symud o lwyth Ephraim i lwyth Judah, i ba un yr oedd tŷ breninol Dafydd yn perthynu, Psal. lxxviii. 9, 60—72.

Yn y teuluoedd lle y darllenir y Bibl yn rheolaidd, o lyfr i lyfr, ac o bennod i bennod, wrth gadw yr addoliad teuluaidd, bydd y llaw-lyfr hwn yn help arbenig pan y darllenir llyfr Josua; ac yn enwedig ceir ef felly gan yr Ysgolion Sabbothol ynglŷn â darlleniad Josua gan y dosbarthiadau.

---

ODLAU'R EFENGYL: *sef yr Hymnau Diweddaraf a genir yn Nghyfarfodydd y Mri.* MOODY *a* SANKEY, *a Chyfarfodydd Dirwestol Mr.* R. T. BOOTH. *Wedi eu cyfaddasu i'r Gymraeg gan* WATCYN WYN.

Abertawy: B. Parry.

Y MAE'R llyfryn bychan destlus hwn yn cynnwys 25 o Odlau neu Emynau bywiog, y rhai sydd yn gyfaddas iawn i'w hamcan. Mae *Watcyn Wyn* wedi llwyddo yn odiaeth i roddi yr holl odlau mewn Cymraeg ystwyth, cymhwys i ddenu'r darllenydd i'w dysgu a'u canu. Ni a hyderwn y bydd canu mawr arnynt yn nghyfarfodydd adfywiadol ein cynnulleidfaoedd, ac yn y cyfarfodydd dirwestol, gan eu bod mor hynod o amserol a phriodol.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

MARWOLAETH Y PARCH. DAVID WILLIAMS, CROESOSWALLT.

BORE Sabboth y 5ed o'r mis diweddaf, yn Nghroesoswallt, bu farw y Parch. David Williams, yr hynaf fel gweinidog a berthynai i Gyfarfod Misol y Rhan Isaf o Sir Drefaldwyn, ag efe yn 67 mlwydd oed. Yr oedd ei farwolaeth yn annysgwyliadwy iawn. Yr wythnos flaenorol, yr oedd efe yn y cyfarfod eglwysig yn nghapel Sïon, Croesoswallt, ac yn dechre'r cyfarfod mewn modd gwresog ac effeithiol. Ond yr oedd ei waith ar ben, a'i ymadawiad yn ymyl. Y dydd Iau canlynol,

Mawrth 9fed, yr oedd ei angladd, pan y rhoddwyd ei gorff i orwedd yn mynwent capel Sïon. Ymysg y gweinidogon a'r pregethwyr ymgynnulledig, yr oedd y Parchn. E. Jones, Trewythen; J. Pritchard, Birmingham; E. Griffiths, Meifod; R. Davies, Amwythig; D. Pierce, Salem; J. Hughes, Carneddau; O. Hughes, Tregynon; D. Hughes, Llanfechain; R. Jones, Llanymynach; J. H. Parry, Croesoswallt; E. Thomas, Llanrhaiadr; M. Bebb, Rock; a R. Edwards, Llansilin; a brodyr o enwadau eraill. Gweinyddwyd gan amryw o'r rhai crybwylledig ar yr amgylchiad pruddaidd; a gweddïwyd yn daer am nawdd y Nef dros y weddw alarus. Yr oedd Mr. Williams yn enedigol o ardal Maentwrog, Gorllewin Meirionydd; ac yno y dechreuodd bregethu. Ymhen amser ymfudodd i'r America, lle y bu yn gwasanaethu Duw yn yr efengyl ymhlith ei gydgenedl Gymreig; ac yno yr ordeiniwyd ef yn y fl. 1852. Yn fuan ar ol hyny, dychwelodd i Gymru; a chawn ef yn Nhrefaldwyn Isaf, yn trigiannu yn olynol yn Llanrhaiadr, Beulah, Llanfyllin, a Llanwyddelan, ymha leoedd yr oedd yn gweinidogaethu yn egnïol. O Lanwyddelan, symudodd i Groesoswallt; a chan fod y Parch. John Evans, gweinidog parchus a chymeradwy yr eglwys Gymreig yno, wedi gorfod myned, o herwydd gwendid iechyd, i Mentone, Deheudir Ffrainc, yr oedd gwasanaeth Mr. Williams ar y fath adeg yn amserol a derbyniol gan y cyfeillion yn nghapel Sïon; a chwithdod cyffredinol sydd o herwydd ei ymadawiad, oedd mor ddisymwth.

---

### YR ADFYWIAD CREFYDDOL YN ARFON.

Nis gall dim fod yn hyfrydach na chlywed y swn am adfywiad ar grefydd yn dyfod oddi yma ac oddidraw. Bydd yn dda iawn genym gyhoeddi adroddiadau am hyn o'r gwahanol leoedd; a hyderwn y bydd ein cyfeillion yn ffyddlawn i anfon i ni hysbysiadau am adfywiadau a chwanegiadau eglwysig. Y mae cyfaill caredig a galluog o Arfon wedi addaw llythyr i ni erbyn ein rhifyn nesaf (Mai). Yn y cyfamser, da genym roddi yr hyn a ganlyn, a ysgrifenwyd ar y 14eg o'r mis diweddaf:— "Y manau sydd wedi teimlo mwyaf o 'ysgydwad' y tu allan i dref Caernarfon ydyw Glasgoed, Cwmyglo, a'r Waenfawr. Ond y mae llawer o fanau eraill wedi profi mesur helaeth o'r un ymweliad. Nifer yr ychwanegiadau at yr eglwysi yn y manau a enwyd ydyw, tua 40 yn Glasgoed, tua 25 yn Nghwmyglo, a 45 yn y Waenfawr. Mewn rhai lleoedd y mae pregethu bedair noson o'r wythnos, a chyfarfod gweddi am dri o'r gloch yn y prydnawn. Ychwanegwyd 40 at eglwys Moriah, Caernarfon, tua 55 at Engedi, ac at Siloh—a elwid gan rai Siloh fechan dlawd—yn yr un dref, 85, os nid rhagor. '*And still they come!*' Pwy na weddïai,

'Cerdd ymlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân!'"

---

### TRYSORFA Y GWEINIDOGION A DEHAU ABERTEIFI.

Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd y mis diweddaf yn Blaenanerch, rhoddwyd diolchgarwch mwyaf brwdfrydig y cyfarfod i J. Stephens, Ysw., Llechryd, yr hwn oedd y cadeirydd, am ei rodd haelionus o hanner can' punt at Drysorfa y Gweinidogion, ac i T. Morris, Ysw., Blaenywern, a W. Brigstoke, Ysw., Parcygors, am eu rhoddion hwythau at yr un achos. Adroddid fod rhai o'r eglwysi wedi ymddeffro gyda golwg ar y drysorfa hon, ac yn gwneyd yn rhagorol ati, tra yr oedd eraill hyd yn hyn yn dra diffygiol. Annogwyd i ymdrechiadau egnïol ar ei rhan yn yr wythnosau dyfodol, gan fod y "dydd gras" gyda'r casgliad hwn ymron terfynu.

---

### TYSTEB Y PARCH. JAMES LAMB, LIVERPOOL.

Oddiar y cysylltiad o un mlynedd ar hugain, sef o Ebrill, 1856, hyd Ebrill, 1877, a fu rhwng Mr. Lamb â hen eglwys barchus capel Pall Mall, a'r gwasanaeth ffyddlawn a roddodd iddi, ac i'r eglwysi eraill yn y dref, pan ei gelwid, mewn cadw cyfarfodydd eglwysig, a chyfarfodydd dirwestol, a'i gefnogiad ymarferol i bob ymdrech am ddyfod o hyd i Gymry oedd wedi myned ar gyfeiliorn yn y dref fawr, a hyny oll heb ofyn na derbyn tâl, —daeth i feddwl rhai cyfeillion, gan fod iechyd Mr. Lamb yn rhy wan iddo allu myned yn y gauaf i gyhoeddiadau Sabbothol, dangos cydymdeimlad âg ef yn weithredol. A hyny a wnaethpwyd trwy i rai o'r gwragedd a'r merched ieuainc Methodistaidd yn benaf fyned yn ddystaw a didwrf i gasglu; a chafwyd y swm anrhydeddus o gant a phedwar ugain o bunnoedd. Ni fynai efe i'w gyfeillion gynnal cyfarfod cyhoeddus i gyflwyno yr anrheg, ac felly rhoddwyd hi iddo gan y trysorydd yn ei dŷ mewn modd syml a dirodres.

---

### SWPER HAELIONUS YN AMERICA.

Y mae y newyddiaduron Cymreig yr ochr arall i Fôr y Werydd yn adrodd y gwnaeth y Methodistiaid Calfinaidd yn nghymydogaeth Gomer, Iowa, ar yr 8fed o Chwefror, swper mawr er budd eu gweinidog. Cafwyd his ddymunol, meddir, a daeth tyrfa fawr ynghyd i gyfranogi o'r danteithion rhagorol yr oedd y chwïorydd caredig wedi eu parotoi at yr amgylchiad. Yr oedd y cyfraniadau yn haelionus iawn. Derbyniwyd y swm hardd o 16,877 o ddoleri.

---

### Y PARCH. DAVID JONES, DINBYCH, YN AUSTRALIA.

Mae yn hysbys fod y Parch. David Jones, yr hwn a fu yn weinidog ar yr eglwys Seisonig yn Ninbych, wedi hwylio o'r wlad hon

am Australia yn niwedd mis Hydref diweddaf. Nid oedd efe yn teimlo ei iechyd yn gryf; a chan fod ewythr iddo yn dychwelyd i Australia, efe a benderfynodd i fyned gydag ef, i dalu ymweliad â'r cyfandir mawr a phell hwnw, gan obeithio y byddai i hyny roddi iddo lwyr adferiad iechyd. Efe a gyrhaeddodd Melbourne ar y 10fed o Ragfyr. *Baner ac Amserau Cymru* a adrodda, "Buan yr aeth gair allan fod Mr. Jones yn bregethwr medrus yn y ddwy iaith; ac, wrth gwrs, mynodd y Saeson a'r Cymry gael ei wasanaeth. Y capel mwyaf a fedd Ymneillduwyr ar yr ochr hono i'r byd ydyw capel yr Annibynwyr yn Collins-street, Melbourne, yn yr hwn y bu ein cydwladwr enwog, y Parch. Thomas Jones, Treforris, yn gweinidogaethu am amryw flynyddoedd. Wedi ei ymadawiad ef, rhoddodd yr eglwys a'r gynnulleidfa alwad i'r Parch. David Jones Hamer, o Wolverhampton, ddyfod yn fugail arnynt. Cydsyniodd yntau â'r gwahoddiad; ond pan oedd ein cyfaill Mr. Jones yn cyrhaedd i'r wlad, ni ddysgwylid Mr. Hamer am amryw wythnosau. Y canlyniad fu i'r blaenoriaid ofyn iddo ef eu gwasanaethu am tis neu bum' wythnos, hyd nes y cyrhaeddai eu gweinidog. Cydsyniodd yntau â'r cais hwn; ac y mae yn dda genym gael ar ddeall fod ei lafur am yr yspaid hwn yn dra derbyniol. Mewn un o newyddiaduron Melbourne, sydd yn awr ger ein bron, rhoddir canmoliaeth uchel iddo fel pregethwr da. Pregetha Mr. Jones lawer i'r Cymry hefyd yn y wlad bellenig; a'n gobaith ydyw am i'w bregethau oll fod o dan fendith arbenig yr Ysbryd Glân. Caffed adferiad iechyd trwyadl, a dychweled adref eto yn fuan."

---

CWRDD YN NETHERFIELD ROAD, LLYNLLEIFIAD.

CADWYD yn ddiweddar gwrdd tê gan aelodau Bethlehem, Netherfield Road North, pan y llywyddodd y Parchedig Hugh Jones. Wedi i'r rhai mewn oed a'r plant wledda, cafwyd cyfarchiad gan y llywydd, a chan y diaconiaid a rhai o'r ieuenctyd; ac ymhlith pethau ereill adroddodd yr awdwr yr anerchiad a ganlyn.

Hyfryd gweled brodyr tirion
 Wedi cwrdd yn Sïon wiw,
Pawb yn unfryd ac yn gyson,
 A'u dibyniad ar eu Duw;
Heb na dadl na digter rhyngddynt,
 Trigo megys plant ynghyd,
Gadael pob daearol helynt
 Er mwyn Gwrthddrych gwell na 'r byd.

Dyma fraint uwchlaw ei phrisio
 Na desgrifio byth ei maint,
Cael bod yn y tŷ—preswylio
 Yn nghymdeithas bur y saint;

Gwell f'ai genyf fyw a marw
 Ar hoff riniog Sïon wên,
Na chael cyfoeth byd ac elw,
 Coron Prydain ar fy mhen.

Mae pleserau 'r byd yn cilio,
 A'i goronau 'n syrthio i lawr;
Parch a chyfoeth, er eu ceisio,
 Ni cheir hwy ond mynyd awr;
Adsain och geir o galonau
 Myrdd a siomwyd yn y byd,
Dyna iaith eu prudd och'neidiau,—
 "Gwagedd, gwagedd ynt i gyd!"

Ond ni siomir neb o'r teulu
 Sydd yn Sïon wedi cwrdd;
Yn y nos hwy allant ganu,
 Tra bo 'n Brenin ar ei fwrdd:
Oes, mae yma beunydd ddigon—
 Rhad ddarpariaeth Dwyfol glwy';
Nefoedd sydd yn gwaeddi "Boddlon!"
 Ni bydd arnom eisieu mwy.

Dyma 'r teulu bïa 'r goron—
 Coron na ddiflana byth,
Dyma blant yr holl fendithion
 Dirifedi fel y gwlith;
Ni bydd dim yn eisieu eto
 Tra bo cyfoeth yn y nef,
Duw ei hun sydd yn eu cofio—
 Oes, mae digon ynddo Ef!

Eiddoch chwi yw edifeirwch,
 I chwi perthyn cymmod rhad,
Chwi bïa etifeddiaeth heddwch,
 A maddeuant yn y gwaed;
Y cyflawnder gwyn a wenwyd
 Gan yr Iesu, 'r Dwyfol ddyn,
A'r sancteiddrwydd glân a weithiwyd,—
 Chwi bïa 'r Meichiau mawr ei hun.

Pan bydd rhai o'r plant yn teimlo
 Awydd gadael tŷ eu Tad,
Wedi blino ar y groese,
 Ar y delyn a'i mwynhâd,
Cofiwch nad oes dim ond cibau,
 Porthi moch, a'r newyn du,
Ymhob man, ond yn ngororau
 Sïon lân, eich cartref chwi.

O na ddeuai 'r Brenin eto
 I'w rodfeydd yn amlwg iawn,
Fel y caffem olwg arno
 Yn ei degwch perffaith llawn!
Pe caem wel'd ei wedd yn ddiau,
 Profi ei gymdeithas bur,
Mwy ni chrwydrem ar ol blodau
 Ar hyd gwaharddedig dir.

Os oes neb yn mro caethiwed
 Yn hiraethu am ryddhâd,
Dowch yn awr o'r llafur caled,
 Chwi gewch groesaw gan eich Tad;
Oes, mae yma lo pasgedig,
 Modrwy y cyfammod gwiw,
Gwisgoedd cariad, a charedig
 Wenau gweision hynaf Duw.

O am fodd i aros yma,
 Yn ei thyrau gwneyd fy nyth,
Ymddifyru rhwng ei muriau,
 Trigo yn ei ph'lasau byth!
Fy nymuniad penaf fyddo
 Ffyniant ei phreswylwyr hi;
Pan bydd byd a nef yn cilio,
 Sefyll byth wna Sïon gu.

TRISANT.

*Everton Valley.*

---

# Trem ar yr Amserau ac Amgylchiadau.

DIGWYDDIAD mawr y mis diweddaf, sydd wedi galw sylw'r byd ato, yw yr ymgais am fywyd ein Brenines a gymerodd le ddydd Iau, yr 2il o Fawrth. Mae deng mlynedd wedi myned heibio er pan y gwnaed yr olaf o'r ymgeisiau blaenorol am ei llofruddio; ac

er y pryd hwnw y mae'r gafael sydd gan y Frenines yn serch ei phobl wedi myned yn gryfach yn barhâus. Ac felly yr oedd yr ymgais diweddaf hwn yn effeithio yn gynhyrfiol ar yr holl Deyrnas Gyfunol, yn enwedig gan fod ei hiechyd o'r bru ymhell o fod yn gryf. Yr oedd ei Mawrhydi, gyda'i merch, y Dywysoges Beatrice, yn myned o orsaf Windsor tua'r Castell mewn cerbyd cauedig, pan y gollyngwyd ergyd ati o lawddryll gan ddyn o olwg dlodaidd. Yr oedd y cerbyd yn myned yn lled gyflym; a chan i'r ergyd fethu ei nôd, wele y dyn yn parotoi i ollwng ergyd arall, pryd y taräwyd ef yn ei fraich gan un oedd yn ymyl, ac y daliwyd ef gan yr heddgeidwaid. Roderick Maclean yw ei enw; ac nid oes ammheuaeth yn awr, meddir, am ei wallgofrwydd. Mae y Frenines wedi derbyn anerchiadau yn ei llongyfarch ar ei gwaredigaeth o bob parth o'r byd, ac oddiwrth bob math o bobl. Mawr fu y canu, a thaer fu y gweddïo, "Duw a gadwo'r Frenines!" Mae ei Mawrhydi wedi myned i fwynhâu gorphwysdra am rai wythnosau i Mentone; a hyderir y caiff yno gryfhâd iechyd, ac y bydd yn cael hir flynyddoedd eto i weled daioni.

Wedi wythnosau o gystudd, bu farw Mr. Bulkeley Hughes, yr aelod seneddol dros fwrdeisdrefi Caernarfon, ar yr 8fed o Fawrth, yn 85 mlwydd oed. Efe oedd yr aelod hynaf o ran oedran yn Nhŷ y Cyffredin. Yr oedd efe yn wladgarwr da, ac yn Rhyddfrydwr er ys hir flynyddoedd. Tra yr ydym yn ysgrifenu hyn, y mae yn ferw etholiad yn nhrefi Arfon; a bydd yr etholiad wedi myned heibio cyn y daw y rhifyn hwn i law ein darllenwyr. Nid oes ammheuaeth, dybygem, nad Mr. Love Jones-Parry, o Madryn, a etholir gyda mwyafrif lliosog, er fod gŵr o'r enw Mr. Sorton Parry yn wrthymgeisydd iddo, ac yn hòni ei fod yn Rhyddfrydwr "annibynol."

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MRS. EVANS, PENLLWYN.

YSGRIFENIR hyn er serchus gof; ïe, nid oes genym bellach ond cofio am yr anwyl Eliza. Ac y mae ei choffadwriaeth, gan ei bod yn gyflawn, yn fendigedig. Anwyl briod Mr. David Evans, Glanrhydtynoeth, Penllwyn, a chwaer y Parch. T. Davies, Treorkey, oedd hi. Ganwyd hi yn Aberystwyth, Chwef. 8, 1845. Ac yno y bu farw ei mam tra nad oedd Eliza eto ond chwarter blwydd oed. Felly gadawyd hi a'i brawd at drugaredd tad nad oedd mewn un modd yn gymhwys i gymeryd gofal dau gorff lle y preswyliai eneidiau anfarwol. Diau mai hyn a barodd i ymysgaroedd y Parch. T. Edwards, Penllwyn, a'i anwyl briod Mrs. Edwards, ymgynhyrfu gan dosturi tuag atynt, nes peri iddynt fabwysiadu y ddau blentyn i fod yn eiddo iddynt hwy. Trwy drefniad doeth Rhagluniaeth fawr y nef, cafodd hi felly ei dwyn i fyny o dan ddylanwadau grymus crefydd deuluaidd, ac yn nghymdeithas rhai ag oedd yn dal cymundeb agos a mynych â'r Iesu. Caniadau o fawl oedd yn ei suo i gysgu; a gwefusau y bu gweddïau yn dyferu drostynt oedd yn ei deffroi. Yr oedd awyrgylch hen aelwyd Trering yn llawn o arogl myrr, aloes, a chasia, allan o'r palasau ifori. Cafodd gweddïau taerion eu hateb yn gynnar ar ei rhan hi, fel yr oedd er yn blentyn yn dduwiol. Tua 13 oed cafodd ei tharo yn glaf yn y *brain fever*. Bu glaf ac agos i angeu. Gadawodd hwn ei ôl ar ei chyfansoddiad dros y gweddill o'i hoes. Cafodd gario corff gwanaidd ac afiach hyd ei bedd. Preswyliai mewn pabell bridd ag oedd yn graciau trwyddi. A diau fod ei meddwl hefyd wedi derbyn argraffiadau dyfnion a dwysion yn yr afiechyd hwn; argraffiadau a barodd iddi fod yn ddiwyd iawn i wneuthur "y pac bach yn barod," fel y dywedai hi yn fynych. Gwnaeth ddefnydd priodol o'r agenau i edrych allan trwyddynt yn fynych ar sylweddolrwydd mawr y byd tragywyddol, nes peri iddi benderfynu bod yn un o etifeddion sylwedd.

Priododd pan tuag ugain oed, a bu ei hundeb priodasol yn un hapus iawn. Cafodd trwy hyn eto bob mantais i feithrin y teimladau crefyddol mwyaf pur. Diau fod mantais ysbrydol ei henaid, a chyfleusdra i ddarparu ar gyfer y nefoedd, wedi cael lle mawr yn ei meddwl ar yr adeg hon o'i bywyd.

Ar ol 16 mlynedd o fyw mewn undeb ag oedd yn deilwng o fod yn gysgod o undeb llawer uwch, nid hawdd oedd ymadael. Na, nid hawdd oedd ymadael i'r nefoedd. Yr oedd chwech o linynau, a phen pob un o'r rhai hyny wedi ei fachu yn ei chalon; priod a thri o blant, a brawd a hen fam o dan bwys 70 mlynedd o ofal a phryder parhâus. Nid hawdd oedd cael y galon yn llwyr o'u gafaelion. Er hyny dattodwyd y rhwymau mor raddol a thyner, fel na theimlwyd dim tebyg i blycio a rhwygo yn cymeryd lle. Nid cael ei *gyru* ymaith a gafodd hi, ond *myned* ymaith a wnaeth. Y mae hi wedi myned ymaith er boreu Mawrth, Awst 3, 1880. Yr oeddym yn methu myned gyda hi—gadawodd ni yn y glŷn. Os na fedrwn fyned ymlaen gyda hi *trwy* y glŷn, yr ydym ar adenydd dychymyg wedi ei fywhâu gan grediniaeth sicr o'i duwioldeb yn gallu hedfan *dros* y glŷn i'r Ganaan nefol. Ac yno gwelwn hi yn ddysglaer fel yr haul, wedi ei gwisgo mewn dillad gwynion yn canu "Iddo Ef."

Ond os na fedrwn fyned ymlaen, yr ydym yn gallu myned yn ol ar hyd ei hoes gyda goleu newydd, mwy clir a gafwyd yn y glŷn oddiar ymylon y nefoedd. Ac os nad yw y maes yn llawn o berlau ardderchog, mae yn llawn o brydferthwch, ac yn rhoddi arogl esmwyth. Nid oes yma flotiau duon. Ceir y rhai hyn ar gymeriadau da yn fynych. Y mae'r ffaith yn aros yn graith, er fod y trosedd wedi ei guddio â'r Dwyfol waed. Ond dyma un a gafodd ymadael â'r byd wedi gadael

cyfrol ddestlus o fywyd ar ol heb yr un blotyn du. Diau fod brychau a gwallau; ond y maent mor fân ac aneglur fel nas gallwn ddyweyd yn iawn pa beth ydynt. Temtir ni bron i ddyweyd mai nid pechodau yn gymaint ydynt, ond anmherffeithrwydd ag sydd yn perthyn i natur ar hanner ei sancteiddio. Y mae angeu yn dattod y seliau sydd ar lyfr bywyd pob dyn. Yn angeu y mae y gyfrol yn dyfod allan o'r wasg. Y mae yr hyn sydd yn lladd bywyd naturiol yn bywiocâu bywyd moesol a chrefyddol. Yr hyn sydd yn dwyn ymaith fywyd a ddwg yn ol rinweddau bywyd. Y mae yr hyn sydd sylweddol o fywyd dyn yn fwy byw wedi i'r dyn ei hun farw. (Ai nid yw hyn yn cadarnhâu y syniad am anfarwoldeb yr enaid?) Wedi ei wasgu gan angeu yr ydym yn cael *essence* bywyd dyn. A rhydd allan arogl cryf yn ol ei natur. Torwyd y blwch hwn, ac y mae yr ennaint yn arogli yn beraidd. Yn wir, yr oedd awelon oer yr afon yn falmaidd gan arogl yr ennaint; ac y mae yr awelon wedi gwasgar y perarogiau ar hyd yr ardal lle yr ydoedd hi yn byw.

Yr oedd ei serch at foddion gras yn gyhoeddus yn fawr. Yr oedd yn hoff o gymdeithas y saint. Er y pellder, ac er gwaned, yr oedd yn ymdrechu myned i fyny i dŷ yr Arglwydd haf a gauaf, Sul ac wythnos. "Yr Arglwydd a gâr byrth Sïon yn fwy na holl breswylfeydd Jacob." Yr oedd ei chartref hi yn un o breswylfeydd Jacob; ond fel ei Harglwydd, yr oedd yn caru pyrth Sïon yn fwy. Yn ngwyneb profedigaeth gan lesgedd a gwendid i aros gartref, dywedai, "Fe allai nas gallaf fyned y tro nesaf." Rhoddodd hyn nerth iddi gychwyn lawer noson i'r cwrdd gweddi ac i'r *society*.

Yr oedd ei gofal a'i phryder am ei phlant, ac, yn wir, am yr holl deulu, yn fawr. Nid gofal anifeilaidd oedd ei gofal hi, ond ysbrydol. Meddwl am eu dyfodol tu draw i amser a barai bryder iddi hi. Yr oedd yn ofalus i addysgu ac i ddysgyblu. Yn ddiau mae ei phlant yn blant gweddïau lawer. Os na adawodd lawer o gyfoeth ar ol iddynt, gadawodd weddïau lawer ar lyfrau'r nef i'w hateb mewn blynyddoedd eto i ddyfod.

Yr oedd ei charedigrwydd hefyd yn amlwg. Nid rhywbeth celfyddydol ac arwynebol oedd hwn. Byrlymai allan o galon ag oedd yn llawn o hono. Rhedai y teimlad hwn allan ymhob cyfeiriad, megys mewn cymwynasau i dlodion, ymweliadau â'r cleifion, &c. Yr oedd yn garedig a siriol i bawb. Gwell fyddai ganddi oddef anghyfleusdra na rhoddi trafferth a gofid i eraill. Nid oedd dim yn ei blino yn fwy yn ei chystudd na bod rhai yn gorfod aros gyda hi trwy y nos i'w gwylio. A mynych y bu gorfod i bawb gilio o'r golwg am ychydig er mwyn arbed y boen hono iddi. Ymdaenai gwên o sirioldeb dros ei gwynebpryd pan gaffai gyfle i wneyd daioni i ddyn, yn enwedig i gristion, ac uwchlaw y cwbl i achos Iesu Grist. Yn ngwrês ac yn ngrym ei chariad, yr oedd yn foddlawn rhoddi ei hun yn aberth ar allor gwasanaeth i achos yr Iesu. Gwasanaethodd yn ffyddlawn, er yn wan a nychlyd, yn adeg y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Penllwyn tua diwedd y flwyddyn 1879. Rhoddodd y gweddill o'i nerth i'r gwasanaeth y pryd hwnw—yna yn fuan methodd yn lân. Cymerai hi boen i wasanaethu ar eraill, ond ni fynai i eraill gymeryd hanner y boen i wasanaethu arni hi. Y mae yn bosibl i deimlad caredig fel hyn fod yn beth naturiol yn unig. Ond yr oedd rhyw ddyeithrwch yn ei charedigrwydd hi ag oedd yn bradychu ei fod yn blanigyn o wlad arall. Dywedir y bydd i friallu gwynion ochr y cloddiau, ond eu symud i ardd, a'u gwrteithio â thail, wrido yn goch. Os naturiol wedi tyfu yn yr anialwch oedd ei charedigrwydd hi, fe'i symudwyd rywbryd i ardd y bywyd, gwrteithiwyd ef â'r Dwyfol waed, nes y daeth yn debyg i garedigrwydd yr Iesu.

Am dymmor byr wedi i'w hafiechyd gymeryd gwedd beryglus, bu yn dywyll iawn arni. Ond "hauwyd goleuni i'r cyfiawn, a llawenydd i'r rhai uniawn o galon." Pa un ai Duw ai y cyfiawn sydd yn hau, y mae goleuni a llawenydd wedi eu hau yn sicr. Fe allai mai Duw sydd yn hau, ond yn defnyddio hadau y cyfiawn, a'r rhai uniawn o galon wedi eu nithio a'u hau ganddo ef. Y mae trysori geiriau Duw yn y cof yn hâd goleuni a llawenydd i'r cyfiawn. Y mae myfyrio arnynt, a'r ymdrech i ufuddhâu iddynt, felly. Ac yn enwedig y mae gweddïau taerion yn hâd goleuni a llawenydd. A bu goleuni iddi hithau yn yr hwyr. Cododd goleuni o'r gair hwnw, "Digon i ti fy ngras i, canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." Ac o'r adeg hono allan, cryfhâu a wnaeth y goleuni nes myned yn ddydd goleu eglur. Cafodd fyned adref yn y goleu. Do! cafodd oleu i fyned i'w gwely. Yr oedd hyny yn brawf sicr ei bod hi a'i Thad ar *derms* da. "Llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwy fwy hyd ganol dydd."

Bore dydd Mawrth, Awst 3ydd, aeth yn ganol dydd arni hi. Ond yr oedd goleuni canol dydd yn rhy ddysglaer i ni allu edrych arno. Aeth o'r golwg mewn goleuni mor ganaid nas gallwn hyd yma ddyfod ato. Ei hadnod olaf oedd, "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod." Ail ddywedai y rhan ddiweddaf gyda phwyslais llawn o orfoledd,—"oddiwrth bob pechod." Yna torai allan i ddiolch, "Gogoniant! Diolch byth iddo am achub hen bechadur tlawd fel fi." Yn yr wythnosau cyntaf o'i hafiechyd, am y nefoedd yr oedd yn siarad o hyd. Ond fel yr oedd yn nesu i'r nefoedd, Iesu Grist a'i waed oedd testun ei myfyrdod a'i hymddyddanion. Un noswaith deffrôdd yn ddisymwth o gwsg byr a thrafferthus, a chan godi ei dwylaw tua'r nef, dywedai, "Ydi, ma' fe, ydi, ma' fe." "Ydi ma' beth, Liza fach?" gofynai ei phriod. "Ydi, ma' gwaed Iesu Grist ei Fab ef yn glanhâu oddiwrth bob pechod—oddiwrth bob pechod—llawer o bechodau na wyddom ni ddim am danynt—pechodau myrdd a mwy—oddiwrth bob pechod. Gogoniant! diolch byth am y drefn i godi hen bechadur tlawd o'r pwll!" Yna canodd yr hen bennill hwnw,—

"Golchwyd Magdalen yn ddysglaer,
A Manasseh yn hyfryd wyn,

Yn y dŵr a'r gwaed a lifodd
O ystlys Iesu ar y bryn;
Pwy a ŵyr na olchir finnau?
Pwy a ŵyr na byddaf byw?
Mae rhyw drysor anchwiliadwy
O ras yn nghadw gyda 'm Duw."

Yna dywedodd, "A wyddoch chwi beth a welais i yn awr?" "Na wn i," ebai ei phriod; "beth a welsoch ch'i?" "Mi welais tadcu—Mr. Edwards, Penllwyn, yn sefyll â'i bwys ar un o ganllawiau y nefoedd ac yn edrych i lawr arnaf. Ac O! yr oedd oedd golwg ogoneddus arno." "Beth a ddywedodd ef wrthych?" "A wyt tithau yn d'od, merch fach i?" Adroddai yr hen bennill hwnw gyda theimlad un ar lân yr Iorddonen pan yn adfywio o'r pylau,—

"Yr hen Iorddonen donog
Rhaid imi groesi hon;
Wrth feddwl am ei dyfnder
Mae dychryn dan fy mron;
Ond im' gael nabod Iesu,
A'm golchi yn ei waed,
Af trwyddi 'n ddigon tawel,
A'r Graig o dan fy nhraed."

Un ro wedi ail ddyweyd y ddwy linell olaf yn fwy hyderus, torodd allan yn ddisymwth iofyn, fel un ag oedd am fod yn siŵr o'r Graig, "Iesu Grist yw'r Graig, onidê?" Heb aros am atebiad, dywedai, Ië, ïe, Iesu Grist yw'r Graig—

"Af trwyddi 'n ddigon tawel
A'r Graig o dan fy nhraed."

weinid hi gan y Bugail mawr i'r porfeydd gwelltog. Caem hi yn fynych yn gorwedd uwch ben ei digon ar ddoldiroedd breision hen bennillion Williams ac addewidion a geiriau y Bibl. Pan yno ceisiai ganu,—

"Iesu, Iesu, 'r wyt ti 'n ddigon
R wyt ti 'n llawer mwy na'r byd;
Mwy trysorau sy yn dy enw
Na thrysorau 'r India i gyd:
Oll yn gyfan
Ddaeth i'm meddiant gyda 'm Duw."

n noson, yr oedd awydd canu yn fawr iawn arni. A dywedai wrth ei phriod, "Gadewch i ni gael canu tipyn." "Yr ydych yn rhy wan, mae arnaf ofn," meddai yntau. "Tebyg iawn fy mod," ebe hithau, "ond gadewch i ni dreio." "Beth a ganwch chwi?" ebe ei phriod? "Wel—

"Mi gana' am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a'm mhla;"

A chanu y pennill drwyddo a wnaeth. Yr oedd wedi adnabod cymaint o Dduw yn Nghrist fel yr oedd yn hollol foddlawn i'w ewyllys. Cyflwynai ei henaid iddo gyda'r anadliad olaf. Er hyny yr oedd ei hawydd a'i hiraeth am fyned adref i'r nefoedd mor gryf ar brydiau fel yr oedd bron a cholli ei hamynedd i ddysgwyl ewyllys ei Thad. Gofynai mewn teimlad siomedig ar brydiau, "Paham na châf fyned adref?" Yr oedd y llawenydd a'r digrifwch, a chaniadau tŷ ei Thad, yn boddi sŵn yr afon. Oblegid ni chlywid sôn am yr afon pan fyddai hi yn siarad am fyned adref.

Ychydig fynydau cyn marw yr oedd yn canu, ond nid oedd y dôn na'r geiriau yn ddealladwy ar y glânau yr ochr hyn. Yna torodd allan i ddiolch, "Diolch byth am y drefn." Yna gweddïai, "Arglwydd Iesu, dere ata i i'r afon." A chyda'r gair yr oedd yr Iesu yno. Cododd ei dwylaw i fyny, a'i gwyneb yn dysgleirio gan ogoniant nefolaidd, a dywedai, "Dacw fe'n d'od. A gaf fi ddwad atat ti?" Diau iddi "yn y glŷn glywed llais y Bugail mwyn yn dyweyd, Canlyn fi." Dydd Mawrth, y trydydd o Awst, aeth yn rhy wan i fyw, ond cafodd nerth i farw; ac felly aeth adref i fyw wedi gorphen marw. Bu farw mewn tangnefedd. Yr oedd y Gŵr â'r march gwŷn wedi achub y blaen ar y march gwelwlas. Gollyngwyd hi mewn tangnefedd a'i llygaid yn gweled iachawdwriaeth Duw.

Awst 6ed rhoddwyd yr hyn oedd farwol o honi i orphwys yn dawel yn mynwent Penllwyn. Diwrnod anarferol o ystormus gan wynt a gwlaw ydoedd. Yr oedd yn bur debyg i fynwesau y galarwyr, ond yn ffurfio *contrast* rhyfedd â'r tawelwch yr oedd hi ynddo. Gweinyddwyd wrth y tŷ gan y Parch. J. Bowen, Rhydfendigaid; yn y capel gan y Parch. D. Morgan, Penllwyn; ac wrth y bedd gan y Parch. J. Jones, Tregaron. Heddwch i'w llwch hyd ganiad yr udgorn. Ei Duw hi a fyddo yn Dduw i'w phriod a'i phlant. Dyddanwch Duw a gysuro y galarwyr, a nawdd Duw drostynt oll. Ei ffydd dilynwn, gan ystyried diwedd ei hymarweddiad.

---

# Amrywiaethau.

### SICRWYDD YR ADDEWID NEFOL.

Yr oedd dyn tlawd yn myned i lys gwladol i gyfreithio am ystâd; a phan yr oedd yn myned i mewn, dyma un o'r gwrthwynebwyr yn ei gyfarfod, ac yn gofyn, "A ydych chwi yn meiddio meddwl y cariwch chwi yr ystâd? Cario yr ystâd! 'does dim yn bosibl. Onid ydyw hwn a hwn yn eich erbyn? y mae yn anmhosibl!" "'Does dim yn bosibl i mi ei cholli hi," meddai yntau; "y mae'r gweithredoedd yn fy ngafael." Yr oedd rhyw hen gristion yn ein gwlad ni yn debyg iddo. Fe ddaeth y gelyn ato ryw ddiwrnod, ac a ofynodd iddo, "A wyt ti yn meiddio meddwl am fywyd tragywyddol?" "Ydwyf yn wir yn meddwl," oedd yr ateb. "'Does dim osibl," meddai Satan. "Dim posibl! 'does dim posibl i mi golli," meddai yr hen frawd; "y mae yr addewid yn fy ngafael. 'Yn yr hyn Duw yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddianwadalwch ei gynghor, a gyfryngodd trwy lw, fel trwy ddau beth dianwadal, yn y rhai yr oedd yn anmhosibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen.' Ac os gwir yr addewid, yr ydwyf finnau yn ddiogel." Diolch i Dduw am iddo estyn yr addewid i'n cyrhaedd ni! Cymerwn afael ynddi.—*Y diweddar Barch. John Jones, Talysarn.*

### Y PARCH. WILLIAM JAY A'I WRAIG.

Adroddir am y gweinidog enwog, y Parch. William Jay o Bath, ei fod, ar y degfed cylchwyl a

deugain o'i ordeiniad, pryd, ymysg tysteban eraill, yr anrhegwyd ef gan foneddigesau ei gynnulleidfa â phwrs yn cynnwys £650, ar ol gwneyd ychydig o sylwadau, yn troi at Mrs. Jay ac yn dywedyd, "Yr wyf yn cymeryd y pwrs hwn, ac yn ei gyflwyno i chwi, sydd wedi bod yn wastad yn cadw fy mhwrs, yr hyn yw y rheswm am ei fod wedi ei gadw mor dda. Ystyriwch ef yn gwbl gysegredig i'ch ewyllys, eich gwasanaeth, a'ch cysur. Mi wn fod hyn yn annysgwyliadwy genych chwi; ond yr ydych yn llwyr haeddiannol o hono. Mr. Cadeirydd a chyfeillion cristionogol, yr wyf yn sicr nad oes yma neb ond a fyddai yn foddlawn i mi wneyd hyn pe gwyddai werth y fenyw hon fel gwraig am fwy na hanner cant o flynyddoedd. Os galluogwyd fi i wasanaethu fy nghenedlaeth, rhaid i mi fynegu eich bod yma dan rwymedigaeth iddi hi. A gallwn goffâu hefyd mor fawr y mae hi wedi codi ei hystlen yn fy ngolwg, ac fel y mae fy eglwys a'r gynnulleidfa yn ddyledus i'w gwyliadwriaeth hi dros iechyd ei gweinidog, yr hwn a siriolwyd ganddi dan bob profedigaeth, ac a adgofiwyd ganddi o'i ddyledswyddau, tra yr oedd hi yn ei galonogi yn y cyflawniad o honynt. Mor fynych y sychodd hi wlith yr hwyr oddiar ei dalcen, ac y rhyddhäodd ef oddiwrth ddyryswch a rhwystrau, fel y caffai hamdden at ei waith! Pa gymaint hefyd yw dyled fy nheulu iddi, a'r achos sydd ganddynt i'w galw yn fendigedig! Ac y mae hi yn fam i fam arall yn America, yr hon a fagodd dri ar ddeg o blant, yr oll o ba rai sydd gyda hi yn rhodio yn y ffordd dragywyddol."

### GWAITH YR ARGLWYDD.

Pwy a gaiff fyned i mewn i orphwysfa yr Arglwydd? Y rhai sydd yn eu hoes yn llafurus gyda gwaith yr Arglwydd. Y gweinidog Americanaidd enwog, James Patterson o Philadelphia, pan alwyd arno i gyfarch y gynnulleidfa mewn Cyfarfod Gweddi Undebol a gynnelid mewn addoldŷ lle yr oedd eglwys yn cynnwys llawer o gyfoethogion, a ddywedai, "Mi fum yn dychymygu am un o'r bobl gyfoethog yma yn marw, ac yn myned i'r nefoedd. Dyna Paul yn rhedeg i'w gyfarfod, ac yn gofyn, 'Beth oedd yn cael ei wneyd dros enw Crist gyda chwi yn Philadelphia? Pa fodd y mae yr Ysgol Sabbothol yn myned ymlaen?' A'r ateb a fydd, 'Nis gwn i ddim; ni byddwn i byth yn myned i le o'r fath?' 'Beth am daeniad a llwyddiant traethodau crefyddol?' 'Ni ddarfu i mi erioed drafferthu yn eu cylch.' 'Beth am yr achos cenadol yn China?' 'Mi a fyddwn yn edrych beth oedd pris y *tea* oedd yn dyfod oddiyno, ond nid yn ymholi nac yn darllen am genadaeth a cheuadon?' 'Ewch allan oddiyma,' medd Paul, 'nid oes yma ddim lle i'ch *sort* chwi. Mae pawb sydd gyda Christ yma yn ymawyddu yn danbaid am lwyddiant achos Crist ar y ddaear.'" Yr oedd y pregethwr gonest yn synio yn uniawn. Pa fodd y gall fod gan hwnw'r gwyneb i ofyn am eistedd gyda Christ yn y nefoedd sydd heb galon i weithio dros Grist ar y ddaear?

### GWAEDU TEIMLADAU PREGETHWR.

Clywsom swyddog mewn eglwys oedd heb weinidog ar y pryd, eglwys mewn tref bur adnabyddus, yn dywedyd, "Pregethwr sydd arnom ni eisieu yma—pregethwr poblogaidd; nid ydym yn edrych gymaint am iddo fod yn ymwelwr o dŷ i dŷ, ond fel y byddo achosion neillduol yn galw am hyny; un yn llon'd pulpud o bregethwr a ddymunem gael." "O'r goreu," meddem, "edrychwch am dano; a phan gaffoch ef, gofalwch na ormesoch ar ei amser; na flinwch ef ond can lleied fyth ag a fyddo yn bosibl â chwynion a ddichon gyfodi yn eich mysg. Edrychwch ar ei fod yn ddiofn yn eich plith." Torwyd gewynau pregeth dda yn *vestry* y capel cyn yr oedfa lawer tro, trwy i'r diaconiaid adrodd i'r gweinidog am ryw dramgwyddiadau a phethau annymunol oedd wedi dygwydd i beri blinder yn yr eglwys, yr hyn a barai i waed teimladau y pregethwr ddyferu ar hyd risiau yr areithfa wrth iddo eu dringo y waith hono. A dyna'r bregeth y dysgwyliai gryn lawer wrthi wedi ei llosgi yn boethrwm cyn ei thraddodi, yn y tân dyeithr y tynasid hi trwyddo yn y *vestry*, fel nad oedd dim ond ei lludw i'w gynnyg i'r gynnulleidfa o'r pulpud, ac yntau yn troi adref y nos Sabboth hwnw â'i ocheneidiau yn drymion, a'i galon yn ofidus.—*Dr. William Rees.*

### GAIR I FERCHED HEB BRIODI.

Hen ferch gall a ddywedai, "Gwell genyf o lawer fod yn wrthddrych chwerthiniad am fy mod heb briodi, nag i mi fod yn methu chwerthin o herwydd i mi briodi." Da yw i ferch briodi, os caiff ŵr da a chywir, un a fyddo yn ei charu hi, a hithau yn ei garu yntau; ond os na wêl hi un tebyg i fod yn gymhar cymhwys iddi, gwell iddi aros yn sengl. Mae y mwyafrif o'r hen ferched yn rhai cariadus, o dymher dda, ac yn chwannog i helpio eraill, ac yn llanw eu lle yn gystal â'u chwïorydd sydd wedi priodi. Mae syniadau llawer o ferched ieuainc yn gyfeiliornus ar y pwnc hwn. Maent yn teimlo y byddai yn rhywbeth tebyg i waradwydd arnynt, neu waeth na hyny, iddynt fyned i ganol oed heb hawl i gael *Mrs.* o flaen eu henwau. Eu holl awyddfryd yw cael gŵr rywsut, ac felly hwy a gymerant y cyntaf a ymgynnygio iddynt, heb edrych nemawr i'w gynneddfau a'i gymhwysderau. Yn awr, enethod, gwrandewch: gwyliwch briodi yn rhy frysiog. Ceisiwch gael y dygiad i fyny goreu o ran addysg, astudiwch yn fanwl yr holl orchwylion teuluaidd, a mynwch lanw eich lle yn eich cartref. Nac ymboenwch, ac na rwgnechwch os nad ydych yn gweled tebygrwydd am ŵr priod dyfodol. Os na chewch chwi byth ei weled, gellwch er hyny fyw yn ddefnyddiol ac yn hapus. Yr ydych chwi yn meddwl ond i chwi gael gŵr, y byddai genych fraich gref i bwyso arni, cynnorthwywr mewn helbul a thrallod. Ond, ysywaeth bu raid i lawer gwreigan wan, nid yn unig sefyll ei hun, ond gwasanaethu fel *prop* i'w phlant a'i phriod. Gwnewch chwi eich dyledswydd yn y cyflwr y byddoch ynddo, a chwi a lanwch eich lle yn hyn o fyd, pa un bynag ai priodedig ai dibriod a fyddwch.

### YR HOLI PAROTOADOL I FEDYDD.

Yr oedd hen weinidog plwyfol yn Scotland wedi cael y gair o fod yn un manwl iawn am gatecelsio yn dduwinyddol y rhieni a ddeuent ato i ofyn iddo weinyddu bedydd i'w plant. Galwodd gydag ef un diwrnod amaethwr o duedd lled ddigrif ac ysmala, i'r hwn y ganesid baban ychydig ddyddiau yn flaenorol, a'r hwn nad oedd yn ymdeimlo yn rhy hyddysg mewn duwinyddiaeth. Dechreuodd y gweinidog ei holi yn ei ffordd arferol ef; ond efe a welodd yn fuan fod yr amaethwr yn troi i edrych yn awr ac eilwaith gyda golwg bryderus tua'r ffenestr yn yr ystafell. "Beth yw'r mater. Mr. S——?" gofynai'r gŵr parchedig, gan deimlo yn annifyr wrth weled fod rhywbeth heblaw ei gwestiynau ef yn denu sylw yr amaethwr. "A ydych yn gweled rhywbeth heb fod yn iawn oddiallan yna?" "O na, nid oes yna ddim drwg," atebai yr amaethwr; "nid oes yna ddim ond fy ngheffyl i, oedd yn fy nghario yma. Yr wyf wedi ei rwymo oddiallan; ac yr wyf yn gobeithio na wna efe ddim rhedeg i ffordd." "Wrth ba beth y darfu i chwi ei rwymo?" medd y gweinidog. "O mi goeliaf fod pob peth yn iawn," ebe'r ffermwr; "mi a'i rhwymais wrth eich tâs wair chwi." "Wel felly, ynte, Mr. S., gwell i chwi edrych ar ol eich ceffyl; mae hyny yn beth rhesymol; chwi a ellwch fyned, a dygwch y plentyn i'r eglwys y Sabbath. Prydnawn da. Edrychwch ar ol eich ceffyl." Aeth yr amaethwr ymaith o dŷ y gweinidog yn hanner chwerthinus; ac wedi myned ar gefn ei anifail, yr oedd yn chwerthin yn uchel ar y ffordd fawr, am fod yr hen weinidog yn ymddangos iddo ef yn hoffach o'i wair nag o'i arholiad duwinyddol.

### TYST GOCHELGAR.

AR un achlysur mewn brawdlys, bernid yn angenrheidiol beri i dyst dystiolaethu pa fodd yr oedd un Mr. Smith wedi trin ei geffyl. "Wel, syr," ebe dadleuwr gyda gwên ddeniadol—gwên a fwriedid i yru ymaith bob drwgdybiaeth oddiwrth y tyst, "pa fodd y bydd Mr. Smith yn gyffredin yn marchogaeth ceffyl?" Y tyst, gan edrych yn dra diniwed, a atebodd, "Yn gyffredin ar gyfrwy, syr, yr wyf yn coelio." Y cyfreithiwr a ofynodd drachefn, "Ond, syr, ymha ystum y bydd efe yn marchogaeth?" Yn Saesoneg, "But, sir, what *gait* does he ride?" Y tyst anghyffroadwy a atebodd, "Nid yw efe byth yn marchogaeth yr un *gate* o gwbl, syr; ond mi a welais ei fechgyn yn marchogaeth ar bob *gate* yn ei fferm." Yr oedd y dadleuwr yn gweled fod o'i flaen dyst cyfrwys anghyffredin; a'i gwestiwn nesaf oedd, "Pa fodd y bydd Mr. Smith yn marchogaeth pan yn nghwmni pobl ereill? Rhaid i mi gael ateb *plain*, clir." "Wel, syr," ebe'r tyst, "bydd yn cadw i fyny gyda'r lleill, os bydd ei geffyl yn abl i hyny, ac onidê efe a fydd ar eu hol." Erbyn hyn yr oedd yn anhawdd iawn i ŵr y gyfraith gadw ei dymher, ac efe a ofynodd mewn dull awdurdodol, "A pha fodd y bydd efe yn marchogaeth ar ei ben ei hun?" "Nis gwn i ddim," oedd yr ateb, "ni bum i erioed gydag ef pan yr oedd ar ei ben ei hun;" ac wedi hyny cafodd y tyst hwnw ei ollwng ymaith.

### SWYDDOG ANWYBODUS.

MEWN llys barn yn Ynys Manaw, yr oedd Iuddew wedi cael ei alw i roddi tystiolaeth. Gan fod yr Iuddewon yn wastad yn cael eu tyngu ar yr Hen Destament, gofynodd yr Ynad i'r cwnstabl oedd yn gweini ar y pryd fyned i ymofyn am Hen Destament i'r llys. Ymhen enyd, dyma'r swyddog yn dychwelyd, ac yn estyn i'r tyst lyfr drylliog o ymddangosiad henaidd iawn; ond erbyn edrych nid ydoedd hwnw ond copi o'r Testament Newydd. "Pa fodd y mae hyn?" ebe yr Ynad wrth y cwnstabl; "oni pherais i chwi ddwyn Hen Destament yma?" a'i ateb oedd, "Rhynged bodd i'ch anrhydedd, dyma'r Testament hynaf y gallaswn i gael hyd iddo."

### ARAETH DDIRWESTOL.

MEWN Cyfarfod Dirwestol a gynnaliwyd yn America, daeth *Dutchman* ymlaen i siarad; ac yr oedd ei araeth yn debyg i'r hyn a ganlyn:—"Mi ddywedaf i chwi sut y bu. Yr oeddwn yn yfed fy niod gref. Yna mi a roddais fy llaw ar fy mhen, ac yr oedd hwnw yn un boen drwyddo. Wedi hyny rhoddais fy llaw ar fy nghorff, a dyna boen eto—yn un boen drosto. Ar ol hyny dodais fy llaw yn fy mhoced, ac nid oedd yn hono ddim byd. Felly mi a ymunais â phobl dirwest. Yn awr nid oes dim poen yn fy mhen, ac y mae'r boen yn fy nghorff wedi myned i ffordd i gyd. Yr wyf yn dodi fy llaw yn fy mhoced, ac yn cael yno ugain dolar. Felly mi arosaf fi gyda phobl dirwest."

### MYNED YN HYNACH.

NID oedd Napoleon Bonaparte, pan yr aeth i gymeryd prif lywyddiaeth y fyddin Ffrengig yn Italy, yn ddim mwy na chwe' mlwydd ar hugain oed. Adroddir i gyfaill ddywedyd wrtho ar ei benodiad i'r uchel-swyddogaeth hono, "Yr ydych yn bur ieuanc i fyned fel hyn yn gadlywydd y fyddin," ac iddo yntau ateb yn dawel, "Mi fyddaf yn hynach pan ddychwelaf yn ol."

### CYNGHOR PRIODASOL.

UN o'r Cyfeillion, neu y Crynwyr, a ddywedai wrth ei fab ar ddydd ei briodas, "Pan oeddit yn myned i garu, dywedais wrthyt am ddal dy lygaid yn llydain-agored. Ond dyma di heddyw wedi priodi, a fy nghynghor i ti bellach ydyw, Cadw dy lygaid yn hanner cauad."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH KHADSAWPHRA.

[Mawblei—Priodas Ka Hannah—Erlidigaeth yn Mairang—Penaeth Khadsawphra.]

YR wyf wedi anfon yr athraw oedd yma, yr hwn sydd yn ddyn da a gweithgar, i Mawblei er cael mwy o ofal am yr ychydig Gristionogion sydd yno, ac yn y pentrefi o amgylch. Yr wyf wedi cymeryd U Idon, brawd U Jura, i'r lle hwn. Priododd ef ychydig amser yn ol â Ka Hannah. Felly bydd y Bibl yn dyfod iddi a addawyd gan gyfaill caredig (gwel y DRYSORFA am Rhagfyr, 1881). Yr wyf yn dysgwyl y gweithiant yn dda yma.*

Y mae yr achos yn Mairang a Mawlong o dan gryn erlidigaeth yn bresennol. Y mae dyn ieuanc yn Mairang sydd wedi bod yn gwrando am fisoedd wedi colli ei dir a'i holl feddiannau, gan iddo wrthod aberthu ar adeg y cynhauaf reis, fel y mae yr arfer. Dywedai ei berthynasau wrtho, gan ei fod wedi gadael crefydd ei hynafiaid, y cymerent hwy bob peth oedd yn disgyn iddo ar ol ei fam. Bu gorfod i'w gyfnither, yr hon oedd yn ei ddilyn yn hyn, ffoi am noddfa yma am bythefnos rhag ofn ei hewythr, dyn meddw iawn, yr hwn a fygythiai ei lladd, a chafodd y dyn ieuanc ei guro yn arw ganddynt. Y mae yn awr yn adeiladu tŷ newydd ychydig allan o'r pentref wrth dŷ U Jura. Nid wyf yn digaloni dim wrth hyn. A yr ystorm heibio, a bydd Cristionogaeth bur ar ei hennill yn fawr o gael ei phrofi â thipyn o dân. Yr ydys yn dechreu adeiladu capel lled helaeth o geryg rhwng y ddau bentref, Mairang a Mawlong, a dysgwylir gallu ei agor cyn y tymmor gwlyb. Casglwyd tua 400 *rupees* (£40) tuag ato trwy gymhorth y Cristionogion trwy y wlad. Y mae U Jura wedi bod yn ddiwyd iawn gyda hyn.

### PENAETH KHADSAWPHRA.

Mewn perthynas i'r brenin, y mae yn argoeli yn awr fod y blaid wrthwynebol yn rhy wan i allu ei ddiorseddu. Daw pethau yn berffaith glir ymhen mis neu ddau. Ceir gweled a wrthyd rhai o'r pentrefi dalu y dreth flynyddol sydd

* Rhoddodd Mr. Griffith Owen bum' swllt i'r Parch. T. Jerman Jones, "i gael Bibl i Ka Hannah pan fydd yn priodi."

yn cael ei chasglu yn bresennol. Os ceglir hon heb wrthwynebiad, bydd y brenin wedi pasio y gwaethaf. Ymhen blwyddyn eto bydd y ddadl ei fod yn Gristion wedi colli ei grym. Rhyw bythefnos yn ol daeth penaethiaid y pentrefi mwyaf gwrthwynebol iddo ato, yn cael eu harwain gan offeiriad Nongbri, y prif gynhyrfydd. Dywedasant nas gallent dalu y dreth heb alw *Durbar* (cynnadledd frodorol) yn gyntaf. Yr amcan oedd cael pobl o'r pentrefi eraill ynghyd, ac felly trwy roddi diod feddwol iddynt, cael ganddynt wrthod talu y dreth. Atebodd y brenin, eu bod hwy pan wnaed ef yn frenin wedi dyweyd wrtho am beidio myned i gost a thrafferthu y bobl trwy alw *Durbar* pan yn myned i gasglu y dreth, gan ei bod yn flynyddol,—dim ond anfon ei hunan i'r gwahanol bentrefi; ond yn awr os oeddynt hwy am wneyd deddf newydd y galwai ef *Ddurbar*, ond na thalai ef y gost, ond y syrthiai hyny arnynt hwy. Nid oedd ganddynt hwy ddim i'w ddyweyd wrth hyn. Yna dywedodd y brenin, "Y mae genych rywbeth o dan hyn oll, dywedwch yn eglur beth sydd ar eich meddwl." Atebasant eu bod yn ddig am iddo droi yn Gristion, ac nad oeddent yn foddlawn iddo fod yn frenin mwy. Atebodd yntau trwy ofyn i ba beth y gwnaethant ef yn frenin, ai fel barnwr i benderfynu eu hachosion neu fel un i dalu am eu crefydd? Dywedai na buo efe erioed yn ymyraeth â'u crefydd, ac na wnai yn awr. Gallent aberthu a chyflawni eu holl ddefodau heb iddo ef ymyraeth; ac mai mater personol hollol oedd ei fod ef yn Gristion. Yna dywedodd y dyn penaf perthynol i'r deyrnas, sydd yn bleidiwr zelog iddo ef,—"Os oes rhywun yma yn meddwl sefyll yn erbyn y Brenin, deued allan fel dyn yn awr yn y goleu, ac felly cawn wybod beth i'w wneyd a phwy a drecha?" ond nid oedd neb yn ddigon gwrol, ac offeiriad Nongbri yn edrych yn gywilyddus. Ar hyn aethant i ddadleu â'u gilydd, a bu ymrafael yn eu plith. Dywedai rhai na wrthwynebent hwy y brenin. "Pa le cawn ni frenin fel hwn?" meddent, "nid yw yn derbyn gwobrau nac yn gorthrymu. Pan oedd ei ragflaenoriaid yn teyrnasu nid oedd ond ymgyfreithio, llwgrwobrwyaeth, gorthrwm, a'r bobl yn tuchan. Pa beth a wna ei fod yn Gristion i ni?" Y diwedd fu iddynt addaw talu y dreth; ond a wna yr oll o honynt, amser a ddengys. Ar ddiwedd y *Durbar* gofynasant iddo roddi diod iddynt fel yr arferai yn flaenorol. Atebodd yntau, "I ba beth y gwnaed fi yn frenin arnoch, i'ch drygu neu i'ch gwneyd yn well? Yr ydych yn gweled fel y mae y ddiod feddwol yn dinystrio y deyrnas, ac felly nis gallaf ei roddi i chwi." Ac felly y terfynwyd. Y mae y cythrwfi hwn yn y misoedd diweddaf, ynghyd a helynt y dyn ieuanc a nodais, wedi effeithio ar y gynnulleidfa ar y Sabboth a'r ysgolion dyddiol yn y ddau bentref, gan mai yn y parth hwnw y mae gelynion mwyaf penderfynol Cristionogaeth yn byw. Ond yr wyf yn credu yr â hyn heibio cyn hir, ac y daw pob peth i'w le.

---

## SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, CHWEFROR 16EG, 1882.

NI a gyrhaeddasom yn ddiogel nos Lun, Chwefror 13eg, ac yr ydym ein tri yn iach a chryf, ac wedi cyrhaedd pen ein taith, ac y mae hyny yn deimlad hapus iawn—wedi cyrhaedd y lle y buom â'n gwynebau tuag ato er yr 16eg o Ragfyr, 1881. Fe gawsom ein tri dderbyniad caredig iawn. Daeth nifer o Shillong rai milldiroedd i'n croesawu; ond nid oes hamdden heddyw i ysgrifenu rhagor; os caf gyfle chwi gewch dipyn am y daith i fyny y Bryniau gyda'r *mail* nesaf.

Yr oedd Mr. a Mrs. Stephens wedi gadael Shillong am Shella rai wythnosau cyn i ni gyrhaedd. Yr oedd adeg cyfarfod yr Henaduriaeth yn agos, ac yr oedd arnynt anghen am wneyd parotöadau ar gyfer hyny, gan mai yn Shella mae y nesaf i fod, ac hefyd yr oeddwn innau wedi bod rai wythnosau yn hŵy heb gyrhaedd yn ol nag yr oeddwn yn bwriadu pan yn gadael Shillong. Ymddengys i'r ddau fod yn ddiwyd a gweithgar yn ystod yr amser y buont yn Shillong, fod pethau wedi bod yn myned ymlaen yn hwylus, ac fod yr achos yma yn bresennol yn lled gysurus.

Yr unig beth oedd yn peri pryder—yn taflu ei gysgod prudd a thywyll dros yr Orsaf Genadol, oedd llosgiad yr ysgoldŷ i'r llawr ar yr 21ain o Ionawr, a dim ond ei furiau yn aros; a'r plant, rhai yma a rhai acw, yn ceisio dysgu; a nifer o ddosbarthiadau allan yn yr awyr agored; y genethod oll allan yn dysgu dan gysgod gwrych yn ymyl ein tŷ ni. Torodd y tân allan yn mhentref Mawkhar, gerllaw yr hwn yr oedd yr ysgoldŷ ac y saif y capel, rhwng 9 a 10 o'r gloch y bore, a llosgodd nifer o dai, ac yn ddiweddaf oll llosgodd yr ysgoldŷ cenadol, a chydag ymdrech mawr y bobl, a nifer o Ewropëaid a'r milwyr, y llwyddwyd i achub y tŷ cenadol; diangodd y capel yn ddianaf oblegid fod tô haiarn arno. Llosgwyd nid yn unig yr adeilad ond y meinciau, desgiau, rhai mapiau, a

phobpeth arall oedd ynddo, llyfrau, &c.; llosgodd y drysau hefyd, a'r ffenestri a'r *frames*, ac y mae llawer o'r muriau wedi syrthio i'r llawr: felly mae y golled yn fawr iawn.

Yr oedd yn adeilad eang, wedi ei rannu yn ddwy ystafell, un i'r bechgyn a'r llall i'r genethod, a gallesid dysgu ynddo o 250 i 300 o blant yn hwylus. Pa fodd y dechreuodd y tân nid ydynt, er gwneyd pob ymchwiliad i'r achos, wedi cael dim goleuni arno eto. Ond tybir mai dynion meddwon trwy ryw weithred o'u heiddo a roddasant ryw dŷ bychan ar dân, ac mai felly y dechreuodd, ac i'r tân wrth fod y gwynt yn gryf ar y pryd ymledu yn fuan i dai eraill; felly nid oes unlle i feddwl fod y tân wedi ei ddechreu gyda'r bwriad i losgi yr ysgoldŷ, oblegid dechreuodd y tân yn nghanol y pentref—ymhell iawn oddiwrth yr ysgoldŷ. Ond pa fodd bynag y dygwyddodd ni ddylid ar un cyfrif ddigaloni, ond codi i fyny a chael ysgoldŷ newydd, a hyny mor fuan ag y byddo modd. Fe geir sylw ar y mater yn yr Henaduriaeth yr wythnos nesaf; ond ni ddylid colli dim amser gyda hyn, oblegid fe ddechreua y tymmor gwlyb tua dechreu mis Ebrill, a rhaid cael lle i'r plant erbyn hyny. Fe ddylid dechre ar unwaith a gwneyd parotöadau heb golli dim amser.

Y newydd cyntaf a gawsom ar ol cyrhaedd Calcutta oedd fod yr ysgoldŷ yn Shillong wedi llosgi, a'r newydd cyntaf wedi cyrhaedd Shillong oedd clywed fod mam Mrs. Jones wedi myned i'r nefoedd; rhaid fod rhyw amcan i hyn—profi ein ffydd a'n hamynedd a'n hymddiried yn yr Iesu. Yr Arglwydd a baro iddi fod felly, fel y byddo i hyn hefyd gydweithio er daioni i deyrnas yr Arglwydd Iesu ac i ninnau.

---

## LLYDAW.

Llythyr oddiwrth Mr. W. Jenkyn Jones, dyddiedig Quimper, Mawrth 6ed, 1882.

Ar y cyntaf o Chwefror aeth Mr. Williams a minnau i Douarnenez, tref yn cynnwys wyth mil o drigolion, oddeutu pedair milldir ar ddeg oddiyma.

Cychwynasom ychydig wedi naw mewn cerbyd yn cael ei dynu gan geffyl, bychan o faintioli (fel y mae y rhan fwyaf o'r ceffylau yma), ond yn meddu ar ddigon o ysbryd at waith, a chyrhaeddasom yno ychydig cyn deuddeg. Y mae y wlad yn brydferth iawn, yn fwy felly nag yr oeddwn wedi dysgwyl o lawer, oddiwrth y desgrifiadau a welais o honi. Yn lle bod yn un gwastadedd, y mae dyffryn a bryn yn dilyn y naill y llall, fel y mae yma ddigon o amrywiaeth golygfeydd. Y mae yn brydferth yn nechreu Chwefror, rhaid ei bod yn neillduol felly yn misoedd y gwanwyn a'r haf. Wrth edrych arni yr oedd y llinellau hyny o eiddo Heber yn dyfod i'm cof,

> "Where every prospect pleases,
> And only man is vile."

Oddeutu hanner y ffordd yr oeddem yn pasio heibio eglwys "Ploneis" (yr un, fel y dywed fy nghyfaill yma, â'r Cymraeg "Plwyf-nyth," ond nis gwn paham y mae yn cael ei alw felly. Y mae y llythyren Gymraeg "th" yn ymddangos yn Llydawaeg fel 's' neu 'z;' nid oes 'th' ganddynt).

Ychydig yn nês ymlaen, canfyddem bobl yn ymgasglu at eu gilydd, ac wedi dyfod yn agos atynt, gwelem wrth eu gwisg fod priodas wedi cymeryd lle yno.

Ar ddiwrnod felly, daw llawer at eu gilydd, fel yn hen neithiorau Cymru gynt, y rhai y gwnaeth ein tadau eu goreu yn eu herbyn, a'r rhai yn y diwedd a orchfygwyd ganddynt. Yn y boreu y maent yn priodi yma fel yn ein gwlad ni; a'r achos am hyny ydyw nas gellir myned drwy wasanaeth yr Offeren *(mass)* yn y prydnawn, am ryw reswm sydd yn wybyddus, y mae yn debyg, yn nghynghorau y Babaeth. Treuliant y gweddill o'r dydd gyda'u gilydd yn bwyta, yn yfed, ac yn dawnsio wrth swn offeryn cerdd, tebyg iawn i'r *Scotch bagpipe* o ran sain. Dawnsiant yn eu *sabots* (esgidiau pren), ac felly byddant yn sicr o wneyd digon o swn beth bynag, ac yn cadw yn lled dda mewn amser.

Wedi dyfod yn agos i'r dref, aethom ar hyd yr hen ffordd er mwyn cael golwg ar yr hen eglwys. Y mae ganddi glochdŷ yn ymgodi yn uchel i'r awyr, a golwg *imposing* arno, ac ystyrir fod yr adeiladwaith arno yn ardderchog. Gelwir y plwyf hwn yn Ploare, h.y. Plwyf-ar-Are, y bryniau sydd yn ymestyn oddiyma yn groes i ran fawr o'r wlad. Aethom ymlaen heibio yr eglwys, er mwyn cael golwg ar y *Bay*, gan adael y dref i'r gorllewin. Y mae yn edrych yn ardderchog, yn ymagor o'n blaen, a gellir gweled y tir oddiamgylch fel y mae yn ymddangos fel llyn wedi ei gau i fewn yn hollol gan y tir. Nid yw yr agoriad iddo o'r gogledd i'r dehau ond saith milldir, tra y mae ei hŷd o'r dwyrain i'r gorllewin yn bymtheng milldir. Gelwir ef weithiau yn 'Bay of Naples' y gogledd, ac y mae yn ymddangos fod ynddo le ardderchog at angori. Y mae yma le cyfleus at ymdrochi, cyflawnder o dywod bob ochr ond o du y dehau, lle y mae y creigiau yn ymestyn i'r môr. Y mae yn

debyg fod y Rhufeiniaid wedi gweled ei ragoroldeb fel ymdrochle, ac y mae yma '*Roman baths*' wedi eu cadw yn lled gyfain hyd heddyw.

Y mae yma amryw greigiau ac ynysoedd yn ein golwg, ac yn eu plith Ynys Tristan, sydd yn gosod golwg fwy prydferth arno. Y mae y gair Douarnenez yn cael ei wneyd i fyny o'r geiriau 'douar' (daear) ac 'enez' (ynys), ond nid wyf yn gwybod paham y gelwir ef felly. Y tu dwyrain y mae Ménez Hom (Mynydd Hom), ac yn ymyl y mae eglwys St. Anne de Palude, lle yr ymgasgla miloedd o bobl bob mis Awst, oblegid ei fod yn lle ardderchog am faddeuant yr adeg hono. Rhag ofn nad ydyw pawb yn gwybod pwy ydoedd hi, gwell i ni hysbysu mai mam Mair ydoedd. Gofynodd Mr. Williams i un dyn ieuanc pwy ydoedd hi. Dangosai syndod fod unrhyw un heb wybod, ac yn y diwedd atebodd mai hi ydoedd "La grand'mère de Dieu," hyny yw, Nain Duw. Dangosant eu cynddaredd yn erbyn y Protestaniaid drwy ddyweyd y geiriau cableddus ein bod ni yn cablu yn erbyn y "Forwyn sanctaidd, mam Duw." Dychwelasom yn ol, ac aethom i lawr y dref. Nid oes eisieu gofyn pa beth ydyw prif waith y bobl: gwelem ar unwaith wrth edrych ar y rhwydau a'r dillad yn hongian allan drwy y ffenestri, &c., mai pysgodwyr ydynt braidd i gyd, neu o'r hyn lleiaf eu bod yn dal cysylltiad â physgota. Dyma un o'r trefydd lle y triga y pysgodwyr sydd yn dal *sardines*, ac ânt allan am gryn bellder i'r *Bay of Biscay* pan na fydd yn arw iawn. Y mae yma gannoedd lawer o gychod, ac y mae yma lawer iawn yn cael eu cynnaliaeth drwy ddal a pharotoi i'r farchnad y pysgod bychain blasus hyny. Y mae yma *quays* lled newydd wedi ei hadeiladu, ac y mae gan y Llywodraeth long yma i ofalu fod y gyfraith mewn cysylltiad â physgota yn cael ei chadw, yr hon sydd yn aros yma drwy y flwyddyn. Rhwydau a welir yma i bob cyfeiriad, yn dangos fod y bobl yn ymbarotoi erbyn y tymmor, yr hwn sydd yn dechreu oddeutu mis Mai, ac yn parhâu am oddeutu pum' mis. Yr oedd yr olwg ar y rhwydau yn peri i ni gofio am y rhwyd genadol ag y mae nifer o gyfeillion yn y C—— wedi ymgymeryd â chasglu ati erbyn yr Hydref nesaf, a gobeithiwn y bydd Arglwydd y pysgod yn ei llenwi, fel y dywedid fod rhwyd y Fibl Gymdeithas flynyddoedd yn ol yn Llangranog.

Y mae yn debyg mai dau gynauaf gwael iawn a gawsant y llynedd a'r flwyddyn cyn hyny. Yr oeddynt yn methu a dal ond y peth nesaf i ddim, ac y mae yn ymddangos fod y bobl wedi dyoddef yn enbyd oblegid hyny. Y mae ugeiniau oedd mewn sefyllfa dda wedi dyrysu yn eu hamgylchiadau, ac erbyn hyn wedi myned yn dlawd. Ond y maent yn ymbarotoi er y cwbl mewn gobaith cael gwell helfa y tymmor nesaf. Delir y pysgod mewn rhwydau gyda maglau bychain allan yn y Bay of Biscay; tuag at eu denu i'r rhwyd, teflir i'r môr rywbeth tebyg i gronell ysgadenyn a elwir y *roque*, ac a ddygir yma o Norway, ac yna daw y *sardines* yn heidiau tuag ato i'w fwyta, a delir hwy yn y rhwyd.

Y mae yma un teulu Protestanaidd, Lutheriaid o Norway, yn preswylio yn y dref, a threuliasom dipyn o amser yno gyda hwy. Ceisiem gael ar ddeall ystad foesol a chrefyddol y bobl; rhoddent ar ddeall i ni mai meddwdod yw pechod mawr y bobl yma, fel yn y rhan fwyaf o'r wlad. Nid oes ond ychydig iawn o barch, mae yn ymddangos, yn cael ei deimlo gan y gwŷr yma i'r offeiriaid, ac eto ânt i'r *mass* o barch i'w gwragedd, y rhai sydd yn fwy ymlyngar wrth yr Eglwys. Y Sabboth yw y diwrnod mawr i feddwi yma, ac ar ddydd Duw bydd y rhan fwyaf yn hanner meddw, a llawer ymhell dros y terfyn. Y mae yn nghanol y dref eglwys newydd eang ac ardderchog, fwy *massive* yr olwg arni na'r rhan fwyaf a welir yn y wlad, ac yn ymyl yr eglwys y mae yma groes, ar yr hon yr hongian cerflun o'n Ceidwad yn ynddangos wedi eu gwneyd o un gareg. "Gŵr gofidus, cynnefin â dolur," yw yr olwg sydd ar ei wedd yma. Y mae delw arall o hono uwch ben y prif agoriad, ac yn hono y mae yn ymddangos fel Brenin, eto â gwyneb mwynaidd ac addfwyn ganddo. Yn gyffredin, y Forwyn a osodir yn y man mwyaf amlwg, gyda'r Baban ar ei gliniau, gyda golwg neillduol o swynol arno, ac sydd yn gwneyd argraff ddofn ar feddwl a chalon y Pabydd; ond yr hyn sydd yn ei wneyd yn adgas i'r hwn sydd yn ei adnabod ydyw, gweled Mair yn dysgu ei Baban i agor ei freichiau i groesawu pawb ato. Ië, Mair, yr hon oedd ar un adeg yn ceisio ei berswadio i beidio pregethu i'r bobl, yr hon oedd yn methu deall ei weinidogaeth, yn dysgu yr Hwn oedd â'i fynwes mor llawn o gariad nes dyfod o'r nefoedd i'r ddaear i farw dros bechaduriaid, i'w croesawu ato ei hun. Diolchwn mai mewn gwlad Brotestanaidd y dygwyd ni i fyny, ie, mai yn Nghymru, lle y pregethir egwyddorion y deyrnas gyda chymaint o eglurder, a dangoswn ein diolchgarwch drwy geisio rhoddi y goleuni i'n brodyr, y Llydawiaid sydd wedi eu gadael hebddo. Y mae eu tywyllwch a'u hofergoeledd yn ei gwneyd yn anhawdd llwyddo yn eu mysg ar unwaith, ac y maent wedi syrthio yn isel; ond nid yw hyny ond rheswm ychwanegol dros wneyd ein goreu drostynt. Y mae trueni yn dyfnhâu y teimlad o

dosturi, ac y mae dyfnder eu trueni yn ein gosod o dan fwy o rwymau i geisio eu codi i fyny.

Dychwelasom ar hyd y ffordd newydd. Y mae y môr i'r gorllewin o'r dref yn rhedeg i fyny am oddeutu dwy filldir i'r tir, ac nid yw y pellder drosodd ond oddeutu hanner Afon Menai, ac y mae cryn debygolrwydd rhwng y ddau mewn amryw bethau. Y tu draw i'r culfor hwn y mae pentref mawr wedi ei adeiladu yn lled ddiweddar, ac y mae yn ymddangos mai i'r cyfeiriad hwnw y mae y dref yn ymestyn; ac yno y mae gorsaf newydd y rheilffordd o Quimper i fod. Y mae y môr yn y culfor hwn mor dawel a phe buasai yn llyn, ac ar ei làn y cedwir y cychod, gannoedd o honynt, sydd yn pysgota *sardines*. Tuag eithaf y culfor y mae pont newydd y rheilffordd yn croesi. Y mae hen draddodiadau mewn cysylltiad â'r *bay*, yn debyg i eiddo "Cantref Gwaelod." Gelwir y rhan uchaf o'r culfor yn Poul Dahud (Pwll Dahud), oblegid yma y dywedir i Dahud, merch y brenin Grallon, gael ei thaflu i lawr i'r dwfr oblegid ei drygioni, yr hyn fu yn achlysur i'r dref Is suddo yn y môr; ac y mae darn o fur eto yn aros, oddeutu 14 o filldiroedd oddiyma, a elwir Moguer-a-Is (Magwyr neu fur Is).

Wrth ddychwelyd yn ol, buom yn canu "Draw ar gopa bryn Golgotha," &c., ar hen dôn; a chawsom gryn hyfrydwch a nerth oddiwrth y geiriau, wrth feddwl fod ein Iesu wedi gorchfygu ei holl elynion ei hunan, a hyny yn y man mwyaf cyfyng fu arno; ac yr oeddem yn teimlo nad oedd eisieu i ni ddigaloni, pan y mae Efe bellach y tu cefn i holl ymdrechion ei bobl, fydd yn cael eu gwneyd oddiar amcanion cywir, ac o gariad ato. Yn wir, paham nas gallwn ddysgwyl yn Llydaw rywbeth tebyg i'r hyn a deimlodd Cymru yn nyddiau ein tadau? Y mae yr un gallu yn ystôr; ac os cawn ymddiried yn Nuw, yr ydym yn sicr na wnaiff ein siomi yn ein dysgwyliadau. Y mae yn edrych yn hynod o dywyll heddyw; felly yr oedd yn Nghymru mewn llawer ardal pan dorodd y Diwygiad Methodistaidd allan. Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn: gweddïwch dros y Llydawiaid. Yr oedd yr apostol Paul yn teimlo dros ei gydgenedl yn ol y cnawd, ac y mae rhwymau ar y Cymry gofio y Llydawiaid. Noswaith y cyfarfod gweddi cenadol, nis gellwch anghofio Khasia; y mae y llwyddiant yno wedi bod mor amlwg fel nas gellir ei anghofio. Ond os oes genym ffydd, y mae hi yn ymlawenhâu mewn anhawsderau. Gadewch i ni uno mewn ymbiliau ac ocheneidiau ar ran y Llydawiaid, gan ddysgwyl am yr amser i'r Arglwydd drugarhâu wrth ein cydgenedl sydd hyd yma mewn tywyllwch.

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol tuag at y Genadaeth er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf:—

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Trwy law Mr. Robert Jones, U.H., Pwllheli | 3 | 7 | 4 |
| Gorllewin Morganwg, trwy law Mr. W. Griffith, Taibach | 12 | 17 | 5 |
| Gorllewin Morganwg, eto, trwy law Mr. W. Griffith, Taibach | 4 | 11 | 0 |
| Eto eto | 3 | 4 | 3 |
| Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, trwy law Mr. P. Roberts | 174 | 6 | 6 |
| Cyfarfod Misol Sir Drefaldwyn, Rhan Uchaf, trwy law Mr. Richard Jones | 95 | 13 | 8 |
| Gwastad, Sir Benfro, Casgliad y Plant, trwy law Mr. J. Phillips | 4 | 12 | 9 |
| Caerphilly, trwy law Mr. John Williams | 4 | 6 | 0 |
| Cyfarfod Misol Dyffryn Conwy, trwy law y Parch. D. Morgan | 76 | 0 | 2 |
| Llanelli, Casgliad Plant yr Eglwys Seisonig, trwy law Mr. Jacob Hughes | 1 | 12 | 8 |
| Cwmgarw, Bridgend, trwy law Mr. T. Hargest | 0 | 5 | 6 |
| Deut. xxiii. 21–23 | 1 | 0 | 0 |
| Llundain, trwy law Mr. O. Roberts | 40 | 10 | 0 |
| Cwmaman, Aberdâr, trwy law Mr. Thomas Daniel | 0 | 15 | 5 |
| Tocyn S. Jones, trwy law Mr. W. Jones, London House, Llangefni | 0 | 10 | 10 |
| Llandilo, trwy law Mr. J. Thomas, Bank | 1 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Mrs. W. F. Williams, Llanerchymedd, Môn, er cof am ei phriod, y diweddar Mr. W. F. Williams | 20 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Mrs. Lewis T. Roberts, 55 Rockfield Road, Liverpool, er cof am ei thad, Mr. W. F. Williams, Llanerchymedd | 10 | 0 | 0 |

Dymunir ar i'r cyfeillion sydd wedi bod yn gofalu am Flychau a Thocynau i'r Plant anfon rhestr o enwau y casglyddion yn ddioed i'r Ysgrifenydd, er mwyn i'r gwobrwyon gael eu hanfon yn brydlawn i'r rhai sydd wedi eu hennill.

D.S.—Gellir cael Tocynau i gasglu at y Genadaeth, Blychau Cenadol, Tocynau a Rheolau Cymdeithasau y Merched, ond ymofyn â'r Ysgrifenydd.

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 619.] MAI, 1882. [LLYFR LII.

## ARAETH Y PARCHEDIG GRIFFITH PARRY AR NATUR EGLWYS.*

GAN MR. DAVID JONES (*National Provincial Bank*), ABERYSTWYTH.

Y MAE y gwasanaeth ordeinio i waith y weinidogaeth yn amgylchiad pwysig, os nid y pwysicaf, ymhlith pob enwad crefyddol, ac felly yn nghorff y Methodistiaid Calfinaidd. Ychydig sydd yn awr yn fyw, a llai yn cofio, yr ordeiniad cyntaf yn Nghymdeithasfaoedd y Bala a Llandeilo yn 1811; ond y mae lliaws yma a thraw yn cofio yn dda am y gwŷr enwog a neillduwyd y pryd hwnw, ac am y doniau a'r grasusau oedd yn nerth, yn addurn, ac yn bryd ferthwch ar eu gweinidogaeth, trwy ba un y caed esboniad eglur a diymwad o ysbrydoliaeth y geiriau, "Llef yr Arglwydd sydd mewn grym; llef yr Arglwydd sydd mewn prydferthwch." Yr hyn sydd yn rhoi dyddordeb ac arbenigrwydd ar unrhyw symudiad neu amgylchiad, yw yr arddeliad neu y sylw a'r gwarogaeth a delir iddo ar y pryd ac o hyny allan. Y farn a roddasai Solomon, trwy ba un y penderfynodd pwy oedd mam y plentyn byw, a'i cyfododd ar unwaith i'w safle priodol yn meddwl y genedl. Y goleuni a'r gwres cydfynedol â darllen adnod mewn cyfarfod gweddi a roddes gyfeiriad newydd a phenderfynol i Eglwys y Morafiaid i ymgysegru o hyny allan i fod yn Eglwys Genadol, ac i barhâu felly o hyny hyd yn awr, dros gant a hanner o flynyddoedd, gyda zel a hunanymwadiad digyffelyb.

Un o'r gwasanaeth ordeinio mwyaf hynod a gymerodd le yn ystod y ganrif hon oedd yr un y traddodwyd y siars gan y Parch. Edward Irving yn Llundain, yn agos i driugain mlynedd yn ol, oddiar y geiriau yn 2 Tim. iv. 1 a'r adnodau canlynol: "Yr ydwyf fi gan hyny yn gorchymyn i ti ger bron Duw a'r Arglwydd Iesu Grist," &c. Cyfaddefid a chofnodir gan rai oedd yn bresennol nas arllwysywyd erioed fwy, os cymaint, o hyawdledd, gyda chymaint o frwdfrydedd sanctaidd ac o serch a chariad tadol, ag a wnaed uwch ben y gŵr ieuanc a neillduwyd y tro rhyfedd hwnw. Yr oedd mewn gwirionedd yn un o'r "amseroedd i orphwys o olwg yr Arglwydd" ar yr holl wasanaeth. Ychydig flynyddoedd wedi hyn, yn Nghymdeithasfa Aberteifi, traddodwyd siars gan y Parch. John Elias, oddiar yr un geiriau, a hwyrach dan ysbrydoliaeth yr un cymhellion. Mae yn debyg na wisgwyd Elias ar un amser â chymaint o ogoniant â'r tro hynod hwn. Yr oedd ei wyneb yn dysgleirio, a'i holl natur wedi ei thrawsnewid i ysbryd a phwysfawredd y gwirionedd, nes yr oedd yn ofnadwy i edrych arno. Dyma y tro cyntaf y cyfarfyddodd â'r hybarch Griffiths o Nevern er yr ordeiniad yn 1811; o herwydd yr oedd yntau wedi dyfod y tro hwn i'r ŵyl, ac nid oedd neb yn mwynhâu yr athrawiaeth a draddodid yn fwy na'r hen offeiriad. Yr oedd ei lygaid yn ffoddfa o ddagrau, yr hyn oedd yn beth dyeithr iddo wedi gadael cymdeithas ei hen frodyr, a chyfyngu ei weinidogaeth

* *Araeth ar Natur Eglwys*, a draddodwyd yn y Gwasanaeth Ordeinio yn Nghymdeithasfa Dowlais, Awst, 1881. Gan y Parch. GRIFFITH PARRY, Aberystwyth. Aberystwyth: argraffwyd gan E. C. Williams.

i'w blwyf neillduedig ei hun. Cafwyd drachefn a thrachefn yn y dyddiau diweddaf hyn bethau gwych yn y gwasanaeth hwn drwy weinidogion sydd eto yn fyw, ac ni a obeithiwn a fyddant byw ddyddiau lawer; ond y mae'r siars a draddodwyd gan y Parch. John Foulkes Jones yn Mangor ryw bum' mlynedd yn ol â'i hargraff yn aros yn annileadwy arnom. Yr oedd yn amlwg yn ymdrech uwchlaw ei allu. Yr oedd yr "ysbryd yn barod, ond y cnawd yn wan;" ac y mae yn ddiam mheu i'r orchest ei ddwyn i'r bedd yn gynt o'r herwydd. Ond beth oedd byrhâu einioes ryw ychydig flynydd oedd i'w gyferbynu â chael ei wisgo â'r fath ogoniant ac arddeliad ag ei hanrhydeddwyd y waith hon ar y fath amgylchiad ac yn y fath le? Mae yn hen chwedl baganaidd fod y rhai oedd hoff gan y duwiau yn meirw yn ieuainc; ac yr ydym yn cael prif wron yr *Iliad* yn dewis oes fer ac anrhydeddus yn hytrach na hir oes ddinôd a diffrwyth.

Mae yn dda genym ddeall fod dyddordeb y gwasanaeth pwysig yma, nid yn unig yn parhâu, ond yn ymadnewyddu. Ac wele ger ein bron, wedi ei gyhoeddi ar gais y Gymdeithasfa yn y Dê, lyfr "Yr Araeth ar Natur Eglwys," a draddodwyd gan y Parch. Griffith Parry ar y cyfryw achlysur yn Dowlais yr haf diweddaf. Gobeithir na chaiff yn wobr am ei anturiaeth yn argraffu wybod beth yw natur gwir edifeirwch, fel y cafodd rhai o'i frodyr. Yr ydym wedi ei darllen drachefn a thrachefn, ac ymdrechu cymeryd i mewn ei chynnwysiad a dyddordeb ei haddysg. Pe buasem yn gwrando ei thraddodiad, buasai hyny yn fantais; ond nid yn gyffelyb i'r hyn o'i chael yn argraffedig, gan fod cynnyrchion Mr. Parry yn ymwneyd mwy â'r rheswm a'r deall yn hytrach na'r nwydau a'r serchiadau. Y mae'r dull a'r drefn o edrych ar Natur Eglwys drwy Hanes yr Eglwys yn newydd i'r Cymry Methodistaidd; ond y mae'r goleuni a deflir oddiwrth y naill, fel y gwelir yn yr araeth, yn adlewyrchu yn brydferth ar y llall. Gosodir allan hefyd fod unoliaeth a chydberthynas nid yn unig rhwng nerthoedd anian â'u gilydd, ond hefyd rhwng gwirionedd y Dadguddiad Dwyfol â ffeithiau bywyd cyffredin dynolryw—rhwng natur â dadguddiad, a rhwng y ddau â threfn rhagluniaeth, fel y gosodir ac yr eglurir gan Butler yn ei Gyfatebiaeth mewn modd digyffelyb, gan mai yr un Meddwl Mawr ag a grëodd y bydoedd a'u preswylwyr sydd hefyd yn eu cynnal ac yn eu llywodraethu, a bod amcanion yn cael eu gweithio allan yn raddol a dystaw trwy yr oesoedd, a'r cwbl yn cydweithio i ddwyn i ben ryw berffeithrwydd yn y dyfodol. Mae hyn yn syniad cysurus, ac yn destun llawenydd a gorfoledd, am y ddynoliaeth mewn rhan. Ond pan gofier am dynged aneirif o'n cig a'n gwaed ein hunain drwy bob oes yn gwrthod eu trugaredd eu hunain, ac o ganlyniad yn cael eu troi i ddinystr a thrueni am byth, mae tywyllwch yn gordoi yr enaid, ac yn ei adael heb wawr na gobaith o un tu yn y cyfeiriad yma. Gan hyny yr ydym yn troi oddiwrth y dirgeledigaethau y rhai sydd eiddo yr Arglwydd at bethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant hyd byth.

Yr ydym yn cydnabod fod y wedd hanesyddol ar grefydd wedi ei hesgeuluso genym fel cenedl a chorff o Ymneillduwyr, ac nid hyny yn unig ond ein bod yn fawr ar ein colled o herwydd cyfyngu ein sylw a'n darlleniad i weithoedd duwinyddol perthynol yn unig i ddosbarth o olygiadau neillduol, ac wedi esgeuluso cyfranogi o'r cyfoeth o athrylith sydd wedi ei adael yn drysorfa i'r eglwys gan dduwinyddion o bob cangen o honi. Mae yn dda genym weled y sylw ar hyn yn yr Araeth; ac ni a obeithiwn weled mwy o eangder yn y cyfeiriad yma gan obeithion ein hoes sydd y dyddiau hyn yn amlhâu ac yn cynniweirio i ac o bob cyfeiriad. Gofaler gan hyny i'n pregethwyr ieuainc yn enwedig roi cyflawnder i mewn, ac yna daw allan yn gynnyrch detholedig, ac yn gyfoeth o bethau newydd a hen.

Wrth adolygu y pwys hanesyddol ar grefydd, tybia Mr. Parry, ynghyd a lliaws eraill, fod yn naturiol i Ben yr Eglwys gyfeirio at hyny yn ei addysg gyhoeddus, a bod hyn wedi ei fwriadu ganddo yn y saith dammeg a gofnodir yn Matthew xiii., er eglurhâd ar natur ei deyrnas. Buasai dyfyniadau o'r sylwadau rhagorol ar bob un o'r saith yn werth eu rhoi o flaen y darllenydd, ynghyd a'r gwirionedd neillduol

a ddyngir ynddynt o wedd hanesyddol cyfnodau arbenig o amser gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu hyd yn bresennol, ac o hyn hyd ddiwedd yr oruchwyliaeth. Ond gan fod y cwbl o fewn cyrhaedd y darllenydd i'w gael yn ei holl gyflawnder am dair ceiniog, yr ydym yn ei gyfeirio at y gwreiddiol ymha un y gwelir ac y mwynheir hyawdledd, manylrwydd, a choethder arferol yr areithydd.

Yn nesaf mae saith cyfnod y Dammegion yn cael eu rhanu i dri chyfnod. Yn flaenaf, yr Eglwys foreuol am y pum' can' mlynedd cyntaf; yn ail, Eglwys y Canol-oesoedd o hyny hyd yr unfed ganrif ar bymtheg; ac yn drydydd, o'r Diwygiad Protestanaidd hyd yn awr ac ymlaen. Nodwedd mawr y cyntaf oedd gwirionedd yn ymffurfio yn athrawiaeth am Natur Duw, a dyn yn ei berthynas â Duw. Yn yr ail ceir yr eglwys yn tyfu mewn dylanwad, nes dyfod y gallu cryfaf ar gymdeithas. Ac yn y trydydd, adferiad gwirionedd Ysgrythyrol ac ysbrydolrwydd crefydd. Yn y cyntaf yr ydym yn cael gwirionedd fel athrawiaeth, yn yr ail fel gallu, ac yn y trydydd fel bywyd.

Cymerir golwg yn nesaf ar y Byd Paganaidd: un olwg yn ddymunol, a'r llall yn bruddaidd. Gwelir llawer o urddas y natur ddynol ac o brydferthwch rhinweddau dynol: gwirionedd, cyfiawnder, gwladgarwch, nerth ewyllys, hunan-lywodraethiad, a gwroldeb. Eto ceir y ddynoliaeth wedi colli y ffordd, ac yn ymddyrysu wrth geisio ei chael yn ol; wedi gadael Duw, yn suddo ddyfnach ddyfnach, oes ar ol oes, i drueni moesol a chymdeithasol, a hyny pan oedd galluoedd natur wedi cyrhaedd i'w grym a'u coethder uchaf yn nhir Groeg ac yn Rhufain. Ond mae hanes yr eglwys o'r dechreuad, meddir wrthym, yn hanes *ymyriad* Duw â'r byd mewn ffordd o ras. Dangosai Paganiaeth annibyniaeth dyn, ac Iuddewiaeth ei ddibyniad ar Dduw. Yn y naill ni a welwn ryddid dynol, ac yn y llall benarglwyddiaeth Ddwyfol. Yn y cyfwng unodd Cristionogaeth y ddwy elfen. "Y mae yr Iachawdwriaeth ei hunan yn Ddwyfol, ac y mae yr elfen oruwchnaturiol yn rhedeg trwy holl hanes yr iachawdwriaeth:" (1.) Mewn gwyrthiau—y wyrth fwyaf oll, "Ymgnawdoliad Mab Duw," &c. Mae yn y rhan hon sylwadau ardderchog o ragorol a dwfndreiddiol; a byddai dyfynu rhan yn anurddo cyflawnder y cyfan. (2) Mewn hanesyddiaeth. Ceir yma fod Cristionogaeth yn esbonio hanes blaenorol y byd, ac nad oes dim arall a wna hyny. Mae bodolaeth a hanes eglwys Crist y cyfryw nad oes dim ond un cyfrif i'w roi am dano, sef fod Cristionogaeth yn wir. Y mae y sylwadau a wneir dan yr adran hon yn wir werthfawr, yn llawn dyddordeb ac addysg o'r radd oreu.

Yr ydym yn ei gael yn disgyn yn nesaf at yr elfen naturiol yn holl hanes yr eglwys. "Nid yw y goruwchnaturiol," meddai, "yn llethu a dinystrio y naturiol, ond yn ymasio âg ef," i'w adnewyddu, ac felly yn gwysio i mewn ffurfiau, defodau, a gwirioneddau, heb dreisio natur ac arferion diniwed blaenorol. Pan yn egluro y rhan hon o'r gosodiad, nid yw Mr. Parry yn cael allan unrhyw ffurflywodraeth eglwysig. Nid yw yr Esgobol, yr Henadurol, na'r Annibynol i'w cael yn y Testament Newydd; ond meddyliem y gwelir pob un yn ei thro, fel y dygwyddai amgylchiadau. Yr ydym yn cofio mewn cyfarfod derbyniad i mewn bregethwyr yn aelodau o'r Gymdeithasfa, i'r cwestiwn gael ei ofyn i un o'r brodyr, Pa ffurflywodraeth a goleddir gan y Methodistiaid Calfinaidd? ac i'r brawd ateb, "Esgobyddol;" ac felly yr oedd ar y pryd yn y rhan hono o'r dalaeth lle yr oedd efe yn preswylio. Cyfeiria Mr. Parry at y *Bampton Lectures* yn Rhydychain yn 1880 fel awdurdod o allu a medr anghyffredin i egluro, yn 1af, Fod yr eglwys yn moreu Cristionogaeth wedi ffurfio ei threfniadau yn *raddol;* ac yn 2il, Fod y trefniadau hyny wedi eu cymeryd o elfenau oedd yn bod yn flaenorol mewn cymdeithas o'i hamgylch.

Wrth derfynu, mae Mr. Parry yn galw yn ddifrifol arnom i wylio rhag colli y goruwchnaturiol o'n mysg, onidê ni a gollwn ein bywyd; ond gwyliwn hefyd, medd efe ymhellach, rhag colli y naturiol, onidê ni a gollwn ein dylanwad a'n defnyddioldeb fel Cyfundeb, a'n cymhwysder i waith ein hoes. "Tra y mae pob oedran i ymddwyn o fewn terfynau purdeb a gweddeidd-dra ar bob achlysur, ffolineb ydyw condemnio sirioldeb a bywiogrwydd yr ieuanc, a thybied fod pob difyrwch yn

bechadurus." Nis gallwn ddyfalu at ba beth neillduol y cyfeirir yma, os nid at ryw bethau ag y bu ein tadau yn llwyddiannus i'w symud ymaith, ac sydd yn awr yn ail ymddangos ac yn derbyn croesaw anghydweddol â'r hyn a dybient hwy yn sobrwydd ac yn symledd gweddus i rai yn proffesu duwioldeb. A gadael fod *Athletic Sports* yn oddefol, drwy eu bod mewn bri ymhlith y Groegiaid clasurol, yr ydym yn methu credu na edrychir ar y campau hyn am rai blynyddoedd, os nid oesau eto, fel "gwisg a halogwyd gan y cnawd." Yr ydym yn teimlo y fath adgasrwydd at y *Book of Sports*, yr hwn a achlysurodd gymaint o lygredigaeth i'r genedl, ac o gamwri i ddwy fil o oreuon pulpudau Prydain ar ol adferiad y Stuarts, nes mae yn ffiaidd genym glywed y gair "*sports*" ynglŷn âg unrhyw arferion gwladol neu gymdeithasol. Ond beth pe codid *interludes* eto i fri, y rhai a chwareuid gynt mewn ysguboriau? Onid ellid dadleu eu bod erbyn hyn yn deilwng o'u cynnal mewn ysgoldai, os nid yn agosach i'r capel? Buont yn derfyn angeuol i'r erlidigaeth gan foneddigion ein gwlad y dyddiau hyny ar y "penau crynion," fel y gelwid y Methodistiaid cyntefig, yn enwedig y rhai a gyfansoddid gan Thomas Edwards o'r Nant. Yr oedd efe yn wrandawr astud a chyson ar bregethwyr blaenaf yr enwad, a'i gymdeithas yn cael ei cheisio a'i mwynhâu gan ddynion difrifol, yn enwedig gan y seraphaidd a'r tra-enwog Robert Roberts, Clynnog, yr hwn a gymerai fantais ar ei ddyfodiad i'w ardal i dreulio oriau yn ei gymdeithas. Yr oedd Thomas Edwards yn wir barchus o bregeth a phregethwr teilwng, ac yn medru dethol y gwych oddiwrth y gwael. Unwaith pan yn cysgu dan bregeth, ei wraig, yr hon oedd ddynes wir dduwiol, a roddai her gwd iddo. "Beth sy?" "Peidiwch cysgu." "'Does dim yn colli," meddai yntau yn ddystaw yn ol. Marwaidd a diamcan oedd y pregethwr, druan, y tro hwnw. Oni fyddai hyn yn ddadl dros chwareu *interludes*, a phethau cyffelyb? Ond ymattaliwn rhag gormod meithder.

Yr ydym yn teimlo yn wir ddiolchgar, yn flaenaf i Mr. Parry am y cyfansoddiad gwerthfawr hwn, ac yn nesaf i'r Gymdeithasfa am ei gymhell i'w argraffu. Ac ni a obeithiwn y bydd ei gylchrediad a'i ddarlleniad yn ymhelaethu drwy y Dywysogaeth, a dyddordeb y pwnc yn y wedd newydd hon arno yn rhoi "bywiogrwydd, sirioldeb, a difyrwch," yn enwedig i'r genedl sy'n codi, i'w gwneyd yn Fethodistiaid trwyadl, a theilwng o'r traddodiadau a aethant o'r blaen, y rhai anrhydeddusaf perthynol i'n cenedl.

---

## HAELIONI CREFYDDOL.

Yr ydym yn byw mewn amser neu ar adeg ryfedd iawn ar oes y byd. Yn y dyddiau hyn y mae'r darganfyddwyr yn lliosog, ac y mae yr athronwyr yn lliosog hefyd; ac nid oes un wybodaeth yn cael mwy o sylw yn y dyddiau yma na'r wybodaeth Fiblaidd. Treiddir i mewn i ac odditan i'r gwirioneddau y buom ni yn ddigon ffol i gredu eu bod yn rhy amlwg i'w darganfod, ac yn rhy syml i feddu mwy nag un ystyr. Yr oeddem ni yn arfer meddwl mai yr efengyl mewn cysgodau ydoedd yr hen oruchwyliaeth, a bod ganddi ei gweinidogaeth a'i gweinidogion, a bod gan yr oruchwyliaeth newydd ei gweinidogaeth a'i gweinidogion hefyd. Yr oeddem yn credu fod gweinidogion neillduedig gan y naill a'r llall, ac hefyd mai sylweddoliad o'r hen oruchwyliaeth ydoedd yr oruchwyliaeth newydd, ac nid diddymiad arni. Cyflawnder Duw oedd yn cymhwyso y gweinidogion o dan yr hen gyfammod, a chyflawnder Duw sydd yn gwneyd gweinidogion cymhwys y testament newydd. Ond y mae yn y dyddiau hyn rai yn barod i gydnabod neillduolrwydd o dan yr hen oruchwyliaeth, eithr gwadant fod y fath beth o dan yr oruchwyliaeth efengylaidd. Byddwn ni yn synu fod cymaint o ddedwyddwch y cyfryw rai yn gynnwysedig mewn diraddio gweinidogion y gair fel dosbarth, gan ddywedyd nad ydynt ond ariangarwyr ar y goreu, ac mai pregethu y gair er mwyn elw y maent, ac nid yn yr ymdeimlad eu bod yn weision i Grist. Dywedodd yr Arglwydd Iesu wrth ei ddysgyblion, "A châs fyddwch gan bawb er mwyn fy enw i;" ac amlwg yw fod gweinidogion yr efengyl, sydd âg enwau bugeiliaid arnynt, yn cael eu casâu gan ddosbarth o aelodau eglwysig am fod enw Iesu Grist arnynt.

Gadawer i ni edrych yn ddiduedd ar y sefyllfa bresennol mewn cysylltiad â'r mater hwn; pa fodd y daeth y bobl i edrych yn isel ar fugeiliaid. Yr oedd haelioni crefyddol yn beth eithriadol cyn cyfodiad bugeiliaeth ymhlith y Methodist-

iaid; ac os oedd bugeiliaeth i fod yn beth posibl, yr oedd yn rhaid cael mwy o haelioni oddiwrth aelodau eglwysig. Gwnaed ymdrech er ys llawer o flynyddoedd bellach i gael gan yr eglwysi ymdeimlo â'u cyfrifoldeb, a chyfranu at achosion crefyddol yn ol eu moddion. Ond y mae hyny wedi ei esbonio a'i gyhoeddi gan rywrai yn orawyddfryd y gweinidogion am arian. Yr oedd haelioni llawer bron yn gyfangwbl wedi ei grynhoi i gludiad, llettŷ ac ymborth pregethwyr, pethau cymharol râd i'r rhai oedd yn eu rhoddi. Tybed nad yw y bugeiliaid yn cael ymosod arnynt am eu hariangarwch oblegid ariangarwch eu gwrthwynebwyr? Os rhag cyfranu mewn modd teilwng yr ymosodir ar fugeiliaeth, yna mae hyny yn ddrwg. Ac o'r ochr arall, os oes rhai yn gydwybodol yn credu fod y symudiad bugeiliol yn niweidiol, nid oes genym well cynghor iddynt na chynghor Gamaliel, "Ciliwch oddiwrth y dynion hyn, a gadewch iddynt; oblegid os o ddynion y mae y cynghor hwn, neu y weithred hon, fe a ddiddymir; eithr os o Dduw y mae, ni ellwch chwi ei ddiddymu, rhag eich cael yn ymladd yn erbyn Duw."

Y mae haelioni crefyddol yn cael ei gamesbonio yn fynych; a'r rheswm a roddir gan gybyddion eglwysig dros fôd ambell un yn haelionus yw, fod arno eisieu dangos ei hunan, ac yn orawyddus i esgyn i ben pinacl anrhydedd trwy ei arian, a hyny oblegid nad oes ganddo ddim arall i'w ddyrchafu. Gwrandawed y cyfryw rai ar eiriau yr Iesu, "Na fernwch fel na'ch barner. Canys â pha farn y barnoch y'ch bernir, ac â pha fesur y mesuroch yr adfesurir i chwithau." Onid cenfigen sydd yn brochi fod gan ei gymydog arian a chalon, tra y mae y cenfigenwr yn amddifad o'r naill a'r llall, neu, o'r hyn lleiaf, yn amddifad o'r olaf?

Yr ydym ni yn cymeryd fod yr holl ysgrythyrau yn yr Hen Destament a'r Newydd yn addysg i ni, a bod ysgrythyrau y Testament Newydd yn gystal âg ysgrythyrau yr Hen Destament yn ein dysgu fod addoli Duw ac aberthu ac offrymu i Dduw yn anwahanol gysylltiedig â'u gilydd. Nid oes hawl gan ddyn i nesâu at Dduw yn waglaw. Yr oedd yn amlwg fod Duw wedi gorchymyn adeiladu allor yn amser Cain ac Abel; ac y mae yr hanes yn awgrymu i ni fod yr amser a'r lle wedi eu penodi, ond fod maint a swm yr aberth ar yr egwyddor wirfoddol. Daeth Cain âg offrwm o ffrwyth y ddaear; ond Abel a gymerth o flaenffrwyth ei ddefaid ac o'u brasder hwynt. Awgryma yr hanes mai ychydig o ffrwyth y ddaear oedd aberth Cain, a bod aberth Abel yn cynnwys y pethau goreu oedd ganddo; a thyna y paham yr edrychodd Duw ar aberth Abel yn fwy nag aberth Cain. Ai nid crintachrwydd a chybydd-dod Cain oedd yr achos cyntaf iddo fod yn lleiddiad dyn? Pan aeth Noah allan o'r arch, efe a "adeiladodd allor i'r Arglwydd, ac a gymerodd o bob anifail glân, ac o bob ehediad glân, ac a offrymodd boethoffrymau ar yr allor; a'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth." Pan ymddangosodd yr Arglwydd i Abram, efe a adeiladodd allor; ie, sylwch, "ac a alwodd ar enw yr Arglwydd;" aberthu yn gyntaf, ac yna galw ar enw yr Arglwydd. Wedi i Abram symud i wastadedd Mamre, y peth cyntaf a wnaeth oedd adeiladu yno allor i'r Arglwydd. Pan oedd Jacob ymhen ei helynt yn myned tua Haran, efe a ddisgynodd yn y "fangre" ryfedd hono; a chafodd yno weledigaeth hynod o ysgol gydag un pen iddi ar y ddaear a'r llall yn cyrhaeddyd hyd y nefoedd, a dywedodd Duw ei *fortune* wrtho. A Jacob pan ddeffrôdd a addunodd adduned, os gwnai yr Arglwydd fel yr ydoedd efe yn dymuno, y byddai iddo yntau gymeryd yr Arglwydd yn Dduw; ac ebe efe, "A'r gareg yma yr hon a osodais yn golofn a fydd yn dŷ Dduw; ac o'r hyn oll a roddech i mi, gan ddegymu mi a'i degymaf i ti." Ond fe anghofiodd Jacob gyflawni ei addunedau; ac wedi amser maith galwodd Duw ei sylw, a hyny yn geryddol, at ei anffyddlondeb. "Duw a ddywedodd wrth Jacob, Cyfod, esgyn i Bethel, a thrig yno; a gwna yno allor i Dduw, yr hwn a ymddangosodd i ti pan ffoaist o wydd Esau dy frawd." Dychrynodd Jacob gan y cerydd, ac y mae sŵn edifeirwch yn ei eiriau pan yn dywedyd wrth ei deulu, ac wrth yr oll oedd gydag ef, "Bwriwch ymaith y duwiau dyeithr sydd yn eich plith chwi; ymlanhewch, a newidiwch eich dillad; a chyfodwn ac esgynwn i Bethel; ac yno y gwnâf allor i Dduw, yr hwn a'm gwrandawodd yn nydd fy nghyfyngder, ac a fu gyda mi yn y ffordd a gerddais." Ac wedi myned o Jacob i Bethel ac adeiladu allor yno, yr ymddangosodd Duw iddo drachefn i adnewyddu ei gyfammod âg ef, ac i gadarnhâu yr enw Israel arno. Yna wedi i Dduw ymadael oddiwrtho, cyfododd Jacob "golofn faen," a thywalltodd arni ddiod-offrwm ac olew.

Yn amser Moses, sefydlodd yr Arglwydd gyfundraeth fanwl o aberthau ac offrymau, yr hon a fuasai, yn ol ysgrifenwyr y dyddiau presennol, yn cael ei hystyried yn gyfundraeth orthrymus ac yn un i'w hysgrifenu i lawr, am ei bod yn gyfundrefn i gynnal gweinidogaeth sefydlog, a hyny o gyfraniadau yr eglwys, a bod y bobl yn eu tlodi eu hunain i'w chynnal. Ond nid oes neb yn tlodi ei hunan wrth aberthu i'r Ar-

glwydd. Dyma a ddywed yr Arglwydd ei hunan, "A mi a ddiwallaf enaid yr offeiriaid â brasder; a'm pobl a ddigonir â daioni, medd yr Arglwydd. Dygwch yr holl ddegwm i'r trysordŷ, fel y byddo bwyd yn fy nhŷ; a phrofwch fi yr awrhon yn hyn, medd Arglwydd y lluoedd, onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd a thywallt i chwi fendith, fel na byddo digon o le i'w derbyn." "Er pan ddechreuwyd dwyn offrymau i dŷ yr Arglwydd, bwytasom a digonwyd ni, gweddillasom lawer iawn; canys yr Arglwydd a fendithiodd ei bobl; a'r gweddill yw yr amldra hyn." "Gwylia arnat rhag gadael y Lefiaid tra fyddech byw ar y ddaear." "Nac ymddangosed neb o flaen yr Arglwydd yn waglaw; pob un yn ol rhodd ei law, yn ol bendith yr Arglwydd dy Dduw yr hon a roddes efe i ti. Os cedwi orchymynion yr Arglwydd dy Dduw, a rhodio yn ei ffyrdd ef, yr Arglwydd a'th lwydda di mewn daioni. Yr Arglwydd a egyr ei drysorau daionus i ti; a thi a roddi echwyn i genedloedd lawer ac ni cheisi echwyn." Wrth i'r Arglwydd ofyn cymaint oddiar genedl Israel, yn ol dysgeidiaeth newydd y dyddiau presennol yr oedd Israel yn rhwym o fod yn dlawd gan orthrwm yr offeiriaid. Ond ai felly yr ydoedd? Onid cenedl Israel y pryd hwnw oedd y genedl gyfoethocaf ar wyneb y ddaear? Ac onid yw y genedl i fesur yn para felly? Onid yw addewid yr Arglwydd wedi ei chyflawni mewn modd neillduol i'r genedl, "A thi a roddi echwyn i genedloedd lawer?" Yr oedd degymau, offrymau, a rhoddion gwirfoddol cenedl Israel at achos yr Arglwydd yn cyrhaedd hyd at hanner enillion y genedl; ac y mae yr Arglwydd yn talu yn ol i'r genedl mewn cyfoeth, cysuron, mwynhâd, ac amddiffyn tu hwnt i bawb eraill ar wyneb y ddaear. Nid yw y bendithion wedi llwyr adael y genedl hyd heddyw. Cyfoethogion pob gwlad yw yr Iuddewon, ac y mae yr hen gyfammod eto heb ei dori. Er fod y degwm i gynnal y Lefiaid, nid oedd y Lefiaid yn dianc rhag y degwm; yr oedd yn rhaid iddynt hwythau dalu degwm o'r degwm a dderbynient; a byddai yn burion i weinidogion yr efengyl o dan y testament newydd gofio nad yw eu gwasanaeth hwythau yn gymeradwy ger bron Duw oni byddant yn talu degwm o'r degwm a dderbyniant. "A chyfraned yr hwn a ddysgwyd yn y gair, a'r hwn sydd yn ei ddysgu, ymhob peth da." Pa faint yw ein ffydd yn Nghrist o werth os nad ydym yn credu yr Ysgrythyrau? Oferedd i ni ddysgwyl bendith gan Dduw os na chredwn ni air Duw; oblegid y mae Duw wedi mawrhâu ei air uwchlaw ei enw oll. "Anrhydedda yr Arglwydd â'th gyfoeth, ac â'r peth penaf o'th holl ffrwyth; felly y llenwir dy ysguboriau â digonoldeb, a'th winwryfoedd a dorant gan win newydd."

Tybiwn ein bod wedi dangos tu hwnt i bob ammheuaeth fod llwyddiant cenedl Israel wedi ei gysylltu â mesur haelfrydedd crefyddol y genedl. Yn awr ni a edrychwn pa beth a ddywedir am, a pha beth yw canlyniadau crintachrwydd, at waith ac achos yr Arglwydd. "Ai amser yw i chwi eich hunain drigo yn eich tai byrddiedig â'r tŷ hwn yn anghyfannedd?" "Fel hyn gan hyny yn awr y dywed Arglwydd y lluoedd, Ystyriwch eich ffyrdd; hauasoch lawer, a chludasoch ychydig; bwyta yr ydych, ond nid hyd ddigon; yfed ac nid hyd fod yn ddiwall; ymwisgasoch ond nid hyd at glydwr i neb; a'r hwn a ennillo gyflog sydd yn casglu cyflog i gôd dyllog." "A yspeilia dyn Dduw? eto chwi a'm hyspeiliasoch i; ond chwi a ddywedwch, Ymha beth y'th yspeiliasom? Yn y degwm a'r offrwm. Melldigedig ydych trwy felldith: canys chwi a'm hyspeiliasoch i, sef yr holl genedl hon." Y mae yr un egwyddorion yn cael eu dysgu yn y Testament Newydd gan Iesu Grist ei hunan: "Y cynauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml; am hyny attolygwch ar Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf." Yna y mae yr Iesu yn galw ei ddeuddeg dysgybl ato, ac yn eu danfon allan i fwrw ysbrydion aflan allan, i iachâu pob clefyd ac afiechyd, ac i bregethu yr efengyl. "Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad?" Peidiwch a gofalu am ormod o bethau o'ch cwmpas i fyned allan; canys teilwng i'r gweithiwr ei fwyd. Chwi a gewch bob peth a fydd arnoch eu heisieu; ac os bydd tŷ yn deilwng, ac yn rhoddi i chwi eich anghenrheidiau, deued eich tangnefedd arno; a chaiff pwy bynag a'ch derbynio fel dilynwyr i mi dderbyn gwobr. "A phwy bynag a roddo i'w yfed i un o'r rhai bychain hyn, phïolaid o ddwfr oer yn unig yn enw dysgybl, yn wir, meddaf i chwi, ni chyll ei wobr." Ond os na dderbyniant chwi, ac os na roddant damaid a llymaid a llettŷ i chwi yn fy enw i, ac ni wrandawant ar eich geiriau, pan ymadawoch o'r tŷ neu o'r ddinas hono, ysgydwch y llwch oddiwrth eich traed: "Yn wir, meddaf i chwi, y bydd esmwythach i dir y Sodomiaid a'r Gomoriaid yn nydd y farn nag i'r ddinas hono. Y neb sydd yn eich gwrando chwi sydd yn fy ngwrando i, a'r neb sydd yn eich dirmygu chwi sydd yn fy nirmygu i; a'r hwn sydd yn fy nirmygu i sydd yn dirmygu yr hwn a'm hanfonodd i; a phwy bynag a'm gwado i yn ngwydd dynion, minnau a'i gwadaf yntau yn ngwydd fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd."

Yr oedd rhywrai yn amser Paul yn cwyno yn erbyn y casgliad at y weinidog-

aeth; ac wele atebiad Paul iddynt, "Os nyni a hauasom i chwi bethau ysbrydol, ai mawr yw os nyni a fedwn eich pethau cnawdol? oni wyddoch chwi fod y rhai sydd yn gwneuthur pethau cysegredig yn bwyta o bethau y cysegr, a bod y rhai sydd yn gwasanaethu yr allor yn gydgyfranogion â'r allor o'r pethau a aberthir arni? felly hefyd yr ordeiniodd yr Arglwydd i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl." Y mae hyn yn ein harwain i wneyd yr unig gasgliad naturiol oddiwrth y fath eiriau, sef os ydym yn credu yn Iesu Grist, ac yn coelio ei eiriau ef, rhaid ein bod yn credu fod gan Iesu Grist ei weinidogion yn awr; a rhaid i ni hefyd gredu fod y gweinidogion hyny i gael eu cydnabod am eu llafur gan y rhai sydd yn credu yn Iesu Grist. Ni pherthyn i ni farnu gweinidogion y gair a phregethwyr yr efengyl, nac i ddyweyd eu bod yn gwneuthur masnach o air Duw; i'w Harglwydd y maent yn gyfrifol, ac iddo ef y maent yn sefyll neu yn syrthio. Ac ni pherthyn i ni ychwaith nodi y swm a ddylai pob pregethwr gael am ei wasanaeth; y mae hwnw i'w reoleiddio gan farn a doethineb yn ol y drysorfa a fydd wrth law. Ond y mae yn perthyn i ni alw sylw ein cydswyddogion at y priodoldeb o gadw y trysordŷ yn llawn; a thuag at gael hyny, rhaid ein cael yn arweinwyr ac yn flaenoriaid yn ein cyfraniadau, oblegid nis gallwn ddysgwyl ffrwyth teilwng oddiwrth yr eglwysi oddieithr ein bod ni yn rhoi y blaenffrwyth ein hunain, ac yn rhoi hwnw yn ol fel y llwyddodd Duw ni. Y mae gan y Methodistiaid ddigon o allu i roddi gweinidogaeth effeithiol i bob eglwys wan yn y Cyfundeb, a hyny heb gasglu trysorfa neillduol trwy roddion mawrion ychydig o ddynion cyfoethog, ond cael ysbryd Methodistaidd, yr hwn yr ofnir sydd yn brin iawn y dyddiau hyn. Beth pe byddai i bob pregethwr a phob blaenor yn y Cyfundeb blymio i ddyfnderoedd ei galon ei hun i edrych a oes yno ddim arian wedi eu cuddio ynddi? Onid yr atebiad gonest a fyddai o lawer o galonau, "Eiddom ni yr arian ac eiddom ni yr aur." "Y neb a garo arian, ni ddigonir âg arian, na'r neb a hoffo amldra â chynnyrch." Yr ydym yn ddigon parod i gredu y byddai hunanymholiad cydwybodol ein swyddogion eglwysig yn sicr mewn ychydig amser o ddyblu ein casgliadau a mwy; ond byddai raid bwrw allan gythraul a elwir, "Annibyniaeth yr eglwys." "Nid ä y rhyw hwn allan ond trwy weddi ac ympryd."

Y mae yn naturiol i'r bobl edrych i fyny at y pregethwyr a'r blaenoriaid fel eu harweinwyr, nid yn unig yn y pulpud a'r sedd fawr, ond mewn pob peth, ac nid yn llai mewn cyfranu. Y mae y blaenor sydd yn rhoddi swllt yn y mis at y weinidogaeth pryd y dylai roddi dau, yn attal nifer o frodyr sydd yn yr un amgylchiadau ag ef i roi dau swllt bob un, ac yn attal rhai is eu hamgylchiadau i roi ychwaneg, am fod yr hyn y maent eisoes yn ei roi yn gyfartal, a mwy, i'r hyn a rydd efe. Y mae y rhai sydd yn attal haelioni crefyddol trwy eu crintachrwydd a'u cybydd-dod yn creu cyfrifoldeb ofnadwy iddynt eu hunain os ydynt yn credu fod Duw, ac os oes barn i fod, a bod pob gweithred i ddyfod i'r farn. Pa fodd y gall y rhai hyny wynebu y farn, y rhai a attaliasant haelioni trwy eu hesiamplau?

Tybed y gall swyddogion cyfoethog y Methodistiaid edrych yn ddisylw ar hanes Iesu Grist yn eistedd gyferbyn â'r drysorfa, "ac yn edrych pa fodd yr oedd y bobl yn bwrw arian i'r drysorfa. A chyfoethogion lawer a fwriasant lawer; a rhyw wraig weddw dlawd a ddaeth ac a fwriodd i mewn ddwy hatling, yr hyn yw ffyrling. Ac efe a alwodd ei ddysgyblion ato, ac a ddywedodd wrthynt, Yn wir, yr wyf yn dywedyd i chwi fwrw o'r wraig weddw dlawd hon i mewn fwy na'r rhai oll a fwriasant i'r drysorfa; canys hwynt oll a fwriasant o'r hyn oedd yn ngweddill ganddynt, ond hon o'i heisieu a fwriodd i mewn yr hyn oll a feddai, sef ei holl fywyd." Onid y wers a ddysgir yn yr hanes yw, mai nid ar yr hyn a allwn hebgor heb ddim colled i ni ein hunain y mae Iesu Grist yn edrych gyda boddhâd, ond yn hytrach ar yr hyn a roddwn o'n prinder? Ddarllenydd, os ewyllysi gael sylw yr Iesu, cofia ei fod ef yn mesur maint dy gariad ato, a dyfnder dy deimlad drosto, gyda llinyn mesur dy aberthau iddo.

Am esgeuluso cyfranu at waith yr Arglwydd yr oedd Israel yn colli mewn rhyfeloedd, ac mewn diflaniad a mallder, fwy o lawer nag oeddynt yn ei ennill wrth beidio talu y degwm. Felly y mae eto, ïe yn y dyddiau diweddaf hyn. Yr ydym yn gweled rhai sydd wedi esgeuluso cyfranu yn deilwng at waith ac achos yr Arglwydd wedi colli mwy nag a arbedasant wrth beidio cyfranu yn ol fel y llwyddodd Duw hwynt. Duw rhagluniaeth yw ein Duw ni. Y mae efe yn ei ragluniaeth eto yn ymweled â'r anffyddloniaid i'w achos mawr ef. Gwelsom rai ar enw yr Arglwydd, ond heb roi teyrnged o'u henillion i'r Arglwydd, yn llwyddo am dro ac yn myned yn gyfoethog; ond chwythodd yr Arglwydd ar yr ennillion, y rhai wedi hyny a ddiflanasant yn llys methdaliant, a syrthiodd eu perchenogion i dlodi. Ond gwelsom eraill yr oedd eu masnach a'u trysorau yn amlhâu, eu cysuron a'u mwynhâd yn ymhelaethu, am eu bod yn hael-

ionus; ac y mae y ddiareb wedi ei gwirio yn eu hanes, "Rhyw un a wasgar ei ddâ ac fe a chwanegir iddo."

Byddai i ni gredu fod breniniaeth yr Arglwydd "yn llywodraethu ar *bob peth,*" yn sicr o fod yn feithriniad i haelioni: a byddai i ni ambell i waith fyned am dro tua'r farn yn sicr o beri lles mawr i ni. Deued y darllenydd gyda ni. Yr olygfa gyntaf a gawn yw gweled yr Iesu yn cyfarch ei bobl ac yn dywedyd wrthynt, "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad; etifeddwch y deyrnas a barotowyd i chwi er seiliad y byd." Paham yr oedd efe yn eu cyfarch felly? Dyma'r paham: "Canys bum newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddiod; bum ddyeithr, a dygasoch fi gyda chwi; noeth, a dilladasoch fi; bum glaf, ac ymwelsoch â mi; bum yn ngharchar a daethoch ataf." Y mae y rhai cyfiawn yn ateb na welsant hwy mo hono ef yn y cyffelyb amgylchiadau. "A'r Brenin a etyb, Yn wir, meddaf i chwi, yn gymaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn, fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch." Yna y mae yn troi atynt bob yr un ac un ac yn eu cwestiyno. Wrth un y mae yn dyweyd, "Onid wyt ti yn cofio fod yr achos yn isel yn yr eglwys yr oeddit ti yn aelod o honi, ac i tithau, o'th gariad ataf fi, ddyblu dy gyfraniad wythnosol?" "*Dear me,* yr oeddwn i wedi anghofio." "Ni fyddaf fi byth yn anghofio." Wrth un arall y mae yn dyweyd, "A ydwyt yn cofio i ti ymweled â hen wreigan dlawd, un o fy saint i, a rhoi iddi swllt i gael rhyw anghenrheidiau bywyd?" "Yr oeddwn i yn siwr wedi anghofio." "A thi a wnaethost hyny lawer gwaith." Ac ebe efe wrth un arall, "A wyt ti yn cofio i ti ymweled â theulu nad oedd neb yn gofalu am eu heneidiau, ac i ti eu hannog i ddyfod i wrando fy efengyl i? Nid oedd gan y wraig *shawl,* ac yr oedd un o'r plant heb esgidiau, a darfu i tithau roi y naill a'r llall iddynt; a daethant fel teulu i wrando, a bu y gwrandawiad yn iachawdwriaeth i'r teulu oll; ac os oes genyt eisieu prawf, dacw nhw; mae pob un o honynt wedi ei gadw i fywyd tragywyddol; a bu dy roddion iddynt yn foddion iachawdwriaeth i'r holl deulu." "Yn wir yr oeddwn i wedi anghofio hyny." "Ond nid wyf fi; ïe, y mae yn anmhosibl i mi anghofio y weithred leiaf o fy mhlaid neu o blaid fy saint; ac nis gallaf ychwaith anghofio yr un weithred a wneir yn fy erbyn."

Os gallwn trwy y sylwadau hyn ennyn mwy o zel yn ein cydgenedl dros baganiaid Cymru, yr hyn mewn gwirionedd sydd yn gariad at Grist, bydd yn dâl da am y llafur hwn.

J. DAVIES.

*Salford.*

## CYNGHOR

**A draddodwyd ar neillduad chwech o ddiaconiaid yn Nghyfarfod Misol Trelogan, Sir Fflint, Chwefror 6, 1882.**

*Gan Mr.* OWEN WILLIAMS, *Bodfari.*

ANWYL FRODYR,—Yr wyf yn teimlo braidd yn wylaidd wrth feddwl codi i fyny i'ch cynghori ar yr adeg bwysig hon yn eich gyrfa grefyddol. Yr un pryd gellid tybio ei bod yn adeg dra chyfaddas i chwi gael cynghor ar eich neillduad i waith mor bwysig ag yr ydych yn wynebu arno. Gwyddoch pa mor angenrheidiol ydyw i ni, yr amaethwyr, gael y ddaear i ansawdd gyfaddas i dderbyn yr had; felly, y peth mawr i ninnau ydyw fod ein meddyliau mewn agwedd gyfaddas i dderbyn "gair y cynghor."

Ni a edrychwn am fynyd arnoch fel *aelodau o gymdeithas newydd.* Erbyn hyn, dyma chwi yn aelodau o'r Cyfarfod Misol. Yr oeddech o'r blaen yn aelodau o amryw gymdeithasau daionus, megys yr Ysgol Sabbothol, a'r gymdeithas eglwysig; ond daethoch yn aelodau o'r rhai hyny trwy ymuno â hwy, neu ynte trwy gael eich magu ar eu bronau. Eithr daethoch yn aelodau o'r Cyfarfod Misol *trwy gael eich dewis;* yn gyntaf gan yr eglwysi y perthynech iddynt; yn ail, trwy eich dewisiad eich hunain; ac yn drydydd, trwy ddewisiad y Cyfarfod Misol. Y mae yr eglwysi o ba rai yr oeddych yn aelodau wedi eich dewis yn rheolaidd, mor reolaidd, ni a obeithiwn, â'r "seithwyr da eu gair" y sonir am danynt yn llyfr yr Actau. Hyderwn hefyd fod yr eglwysi wrth eich dewis â'u golwg ar y cymhwysderau angenrheidiol, sef, rhai "llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân;" a byddai yn dda iawn i chwi, a phawb o honom, fy mrodyr anwyl, geisio dal ein hunain yn y drych yna bob dydd. Cofiwch eich bod i fod yn "frodyr sanctaidd," fel y dywed yr apostol. Y mae yma ryw fath o sancteiddio arnoch heddyw: dyma chwi yn cael eich *neillduo* i'r gwaith; ond nid oes yma neb o honom ni a all eich sancteiddio; ond fe all yr Ysbryd Glân. Gwyliwch na byddoch yn debyg i'r dyn hwnw gynt a gafodd ei esgymuno ag yntau heb wybod dim arno ei hun. Na! mi a hyderaf y byddwch o heddyw allan yn ymdeimlo â phwysigrwydd eich swydd.

Yr ydych hefyd yn aelodau o'r Cyfarfod Misol trwy eich dewisiad eich hunain. Nid oedd dim gorfodaeth yn cael ei roddi arnoch i gymeryd y swydd; cawsech wneyd yr un a fynech; ond dyma chwi wedi dewis ymgymeryd â hi. Yr ydych fel hyn yn colli eich hunain mewn rhyw ystyr heddyw, yn eich cydsyniad â dewis-

iad yr eglwysi o honoch; a bellach, dysgwylir i chwi, nid "ceisio yr eiddoch eich hunain," neu wasanaethu eich amcanion eich hunain, ond eiddo yr eglwys a'r Cyfarfod Misol. Ac yr ydych bellach wedi eich dewis gan y Cyfarfod Misol, a hyny ar sail dewisiad yr eglwysi o honoch, ac ar sail eich dewisiad chwithau i gydymffurfio â'u galwad, ac hefyd, deliwch sylw, ar sail eich addewid chwithau i gydymffurfio ac ufuddhâu i drefniadau y Cyfarfod Misol fel cymdeithas, ac nid myned ymlaen yn ol eich penderfyniadau a'ch mympwyon eich hunain. Ië, gofalwch rhag bod yn ddynion mympwyon neu *hobbies*. Rhai anhapus iawn i gymdeithas, ac yn wir iddynt eu hunain yn y pen draw, yw dynion felly. Dymunwn i chwi gofio mai nid eich syniadau eich hunain, ond yr eiddo yr eglwys, y Cyfarfod Misol, a'r Cyfundeb, a fydd yr eiddo chwithau. Cewch, yn wir, ddadleu eich rhan ymhob cylch ar bob syniad a phenderfyniad, ond i chwi gadw yn ysbryd yr efengyl; ond wedi i unrhyw benderfyniad basio, eich dyledswydd ar ol hyny a fydd ei gario allan yn ffyddlawn. Dylech hefyd fod yn ffyddlawn i arwain yr eglwysi i gydweithredu â phenderfyniadau y Cyfarfod Misol a'r Cyfundeb.

Dymunwn yn nesaf i chwi gofio *amcan* eich dewisiad: gwasanaethu, ac nid arglwyddiaethu. Awgrymir gan yr Apostol fod "llywodraethu" yn rhan o waith yr esgob, neu y gweinidog. "Oblegid oni fedr un lywodraethu ei dŷ ei hun, pa fodd y cymer efe ofal dros eglwys Dduw?" Ac fe ddaw yn rhan o'ch gwaith chwithau i arwain a llywodraethu eglwys Dduw. Ond gofelwch rhag myned i arglwyddiaethu *(lordio)*, neu chwi a gewch eich hunain ryw ddiwrnod yn ddynion anhapus iawn. Ond yr ymadrodd ysgrythyrol am y diaconiaid ydyw *gwasanaethwyr*. "A phrofer y rhai hyny yn gyntaf;" a dyma chwi wedi dyfod trwy y prawf, "yna gwasanaethant swydd diaconiaid os byddant ddiargyhoedd."

Am yr amcan i'ch swydd, fel yr ydych i ddal cysylltiad yr eglwys â'r Cyfarfod Misol, cynnwysa hyn ddau beth: gwasanaethu yr eglwys gartref dros y Cyfarfod Misol, a gwasanaethu y Cyfarfod Misol dros yr eglwys gartref. Y mae y dyledswyddau a ddisgyn i'ch rhan fel gwasanaethwyr yr eglwys yn rhy lïosog i ni heddyw gael hamdden hyd yn nôd i'w henwi; ond ymdrechwn i nodi rhai o honynt. Dywed Paul, "Os yn was y'th alwyd, na fydded gwaeth genyt, &c.;" ac mewn lle arall dywedir, "Am ben hyn yr ydys yn dysgwyl mewn goruchwylwyr gael un yn ffyddlawn;" megys y dywedodd ein hanwyl dad a brawd, Mr. David Roberts o Dan'rallt a Liverpool, yn nghyfarfod y diaconiaid yn Nghymdeithasfa Llangollen, "Os gofynir, Beth yw y peth cyntaf a berthyn i swydd diacon? yr ateb ydyw, Ffyddlondeb. Beth yw yr ail? Ffyddlondeb. Beth yw y trydydd? Ffyddlondeb."Ië, ffyddlondeb ydyw Alpha ac Omega y swydd. Ond, beth yw y gwaith ag y mae eisieu y fath ffyddlondeb gydag ef? Gelwir ni gan rai—o ran hyny y mae yr enw yn ysgrythyrol—yn wasanaethwyr byrddau; ond y maent yn fyrddau anrhydeddus iawn.

Un ydyw bwrdd y weinidogaeth. Arnoch chwi y disgyn y gwaith o ofalu am gyflenwi y pulpud, ac wedi ei lanw yn deilwng, ei gydnabod yn deilwng. Dysgwylir i chwi wylio ar yr athrawiaeth, a gofalu am fod ynddi ymborth iachus i'r gynnulleidfa, a gofalu hefyd ei bod yn adeiladu yr eglwys, ac yn amcanu, o leiaf, i achub y gwrandäwyr. Y mae genych hefyd i ofalu am gydnabod y weinidogaeth yn deilwng, a gosod esiampl dda trwy gyfranu yn haelionus tuag at y weinidogaeth a phob achos da arall.

Bwrdd yr Arglwydd hefyd. Dysgwylir i chwi yn arbenig gymeryd gofal am hwn ymhob ystyr: gofalu am bob peth oddiallan yn deilwng o'r gwasanaeth, a gofalu am fod yr eglwys yn cael y rhagorfraint yn gyson, ac na byddo dim yn lluddias hyny o'ch rhan chwi o leiaf; a gofalu hefyd, hyd y mae ynoch chwi, am fod y rhai a nesânt at y bwrdd yn deilwng o ran eu buchedd, a'u gwybodaeth, fel na chabler enw Duw o'ch plegid chwi; o herwydd os gŵyr y byd oddiallan fod rhai annheilwng yn agosâu at y bwrdd, fe'ch ceblir chwi yn llawn cymaint â'r aelodau hyny a ystyrir ganddynt yn annheilwng. Bydd genych lawer i'w wneyd er cynnorthwyo y gweinidog, lle y mae un, er parotoi y bobl ieuainc i nesâu at y bwrdd, a gofalu ar ol eu derbyn ar eu bod yn gyson wrth y bwrdd, ac ymhob moddion arall o ras; a lle nad oes gweinidog, y mae eich cyfrifoldeb yn y cyfeiriad yma yn fwy o lawer.

Bwrdd y tlodion hefyd. Rhaid i chwi fod yn ofalus iawn o'r dosbarth yma yn yr eglwysi. Y mae peth bychan iawn weithiau yn taflu y tlawd fel y gwan i lawr; a pheth bychan mewn ystyr a'i cyfyd i fyny. Byddwch dyner iawn o'r tlodion a'r gweddwon, yn enwedig y rhai sydd "wir weddwon," fel y dywed yr apostol. Da iawn a fyddai fod trysorfa fechan gan bob eglwys ar gyfer y tlodion, yn neillduol mewn adeg o afiechyd, fel y galler eu cysuro a'u calonogi. Daw yn rhan arbenig o'ch gwaith i ymweled â'r cleifion. Mewn eglwysi mawr, dylai y gwaith gael ei ranu; a dylai fod rhestr o'r

aelodau wrth law gan bob swyddog, fel y gallo fwrw golwg drostynt yn fynych. Yr ydym oll, o bosibl, wedi cael profion o'r daioni a ddeillia o ymweliad y diacon, gan nad pa un a fydd yn yr eglwys weinidog ai peidio. Dylech edrych bob amser ar yr eglwys fel pobl eich gofal, megys y gofala un am ei deulu; ac ond i chwi wneyd hyn, byddant hwythau yn sicr o edrych i fyny atoch chwi; ac ni bydd ymweliad neb oddigerth eiddo'r gweinidog yn cael ei werthfawrogi yn fwy nag ymweliad y diacon. Gellwch chwi ddyweyd nad ydych yn ceisio yr *eiddynt* hwy, ond *hwy eu hunain*, a gellwch yn aml fod yn "genad o ladmerydd" iddynt "i lefaru gair mewn pryd wrth enaid diffygiol." Dylech fod yn gyfryw ag y byddo gan yr aelodau bob ymddiried ynoch, ac y teimlont yn ddiogel fod o dan eich arweiniad ymhob ystyr ac ymhob amgylchiad.

Y mae genych i ofalu am fod yr aelodau a'r plant yn cael y manteision a ddylent er eu cynnydd a'u diwylliant crefyddol, ac edrych ar eu bod hwythau o'r tu arall yn gwerthfawrogi eu manteision, yn mynychu y cyfarfodydd gweddïo, yr Ysgol Sabbothol, y cyfarfodydd darllen, y pregethau, a'r cyfarfodydd eglwysig. a phob moddion o ras. Gofalwch, hyd y mae ynoch, ar fod crefydd deuluaidd yn flodeuog. Ceisiwch fagu a meithrin ysbryd darllen a myfyrio yn yr ieuenctyd, gan ymdrechu eu cael i ymarfer â dyledswyddau cyhoeddus crefydd mor fore ag y gellir. Y mae yr holl gyfarfodydd hyn yn fanteisiol, ïe, dylid edrych arnynt fel magwrfa *(nursery)* grefyddol i gael y bobl ieuainc yn weithwyr yn ngwinllan eu Harglwydd, ac nid segurwyr. Fel y mae y gweinidog i hau yr hâd, yr ydych chwithau i chwilio am y ffrwyth. O ganlyniad y mae yn rhesymol iawn eich bod yn meddu adnabyddiaeth bersonol dda o bawb, ïe, cofiwch, pawb,—y maent oll i gael eich sylw.

Peth arall gwir anghenrheidiol, ag sydd yn waith arbenig y diacon, ydyw dysgu yr aelodau i gyfranu at bob rhan o achos crefydd, yn gartrefol a thramor. Ceir rhai swyddogion, ysywaeth, yn hynod o hunangar. Eu barn a'u teimlad hwy ydyw, nid yn unig fod elusengarwch neu haelioni yn dechre gartref, ond mai gartref yr erys ac y dybena. Os gallant hwy, ni roddant gyfle i neb ddangos eu caredigrwydd i achosion y tu allan i gartref, serch iddynt fod yn achosion cyfundebol. Onid Annibyniaeth hollol, ac nid Methodistiaeth, ydyw peth fel yna? ac yma y gwelir rhagoriaeth Methodistiaeth yn fawr. Fel y mae eglwys Iesu Grist i fod yn eglwys genadol, y mae i fod yn ymosodol, ac i wneyd pob ymdrech er llwyddo "y deyrnas nad yw o'r byd hwn" ymhob gwlad. Cawn fod y Bibl, yn enwedig y Testament Newydd, wedi ei fritho â'r dyledswyddau a orphwys arnom yn y cyfeiriad hwn; a diammheu y gorphwys rhan fawr o'r gwaith o ddysgu y bobl yn "y gras hwn" ar ein hysgwyddau ni. Chwi a wyddoch am y rheol euraidd, a'r unig reol yn y Testament Newydd gyda golwg ar gyfranu, sef fod pob un "i roddi fel y llwyddodd Duw ef." Wel, pa faint yw hyny? medd rhywun. Cymaint fyth ag a allom; nid cân lleied ag a allom. Chwi a gewch ambell un, ac ambell i deulu, yn rhai cyndyn iawn i gyfranu at achos crefydd; a'r rheswm a roddant dros eu cyndynrwydd yn aml ydyw, nad ydynt hwy yn gallu gweled i ba beth y mae'r casgliad da, a pha beth ydyw ei amcan. Ond y ffaith ydyw, ni fynant gyfranu, ac am hyny ni fynant weled; nid ydynt erioed wedi dysgu rhoddi. Y ffordd oreu o lawer ydyw dechre yn fore—eu harfer tra yn blant; ac ond gwneyd hyny, nid ä cyfranu at achos crefydd byth yn faich arnynt; ïe, bydd yn hawdd ganddynt gyfranu tra y byddont byw. Fe ddywed Paul wrth gynghori Timotheus, "Gorchymyn i'r rhai sydd oludog yn y byd yma na byddont uchel-feddwl, ac na obeithiont mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw, a bod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu," &c. Y mae yn ammheus genyf a fu llwyddiant mawr ar waith Timotheus yn "gorchymyn" i'r dosbarth yna; a phe byddai i chwithau orchymyn i'r dosbarth yna, nid llawer o lwyddiant a fyddai. Gan hyny, gadawer iddynt ddyoddef eu penyd am eu cybydd-dod, a throwch eich gallu i geisio addysgu y rhai ieuainc yn y gras hwn; a diammheu y gwelir mwy o ffrwyth ar eich llafur gyda hwy. Ond nac anghofiwch fod yn esiampl i'r praidd eich hunain ymhob peth, yn enwedig mewn haelioni. O bob diffyg a all fod mewn blaenor, diffyg mewn haelioni crefyddol yw y mwyaf dinystriol i gynnydd a llwyddiant yr eglwys.

Ond tybygaf eich clywed yn dyweyd, "A phwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" I gwblhâu eich dyledswyddau, rhaid i chwi ymroddi i lafur. Cyn y gellwch ddysgu, magu a meithrin a phorthi praidd Duw, rhaid darllen llawer, myfyrio llawer, a gweddïo llawer am i'r llafur gael ei sancteiddio i chwi a hwythau. Dyna yn fyr rai o'r dyledswyddau a orphwys arnoch tuag at yr eglwys; ac yn wir, cynnwysa ran o'ch dyledswydd tuag at y Cyfarfod Misol hefyd.

Ond cyn y bydd i chwi gyflawni eich dyledswydd tuag at y Cyfarfod Misol, rhaid i chwi yn gyntaf oll fod yn ffydd-

hyn i ddyfod iddo, a dyfod iddo gan ddysgwyl *cael* rhywbeth, ïe, a gwneyd rhywbeth hefyd—dyfod yno i ryw amcan; ni wneyd yn fwrdd cyfnewid i roddi a derbyn dros yr eglwys; nid dyfod yno i siarad, a cholli darn da o'r cyfarfod ar fasnach ysmocio, &c. Dylech fod yn ffyddlawn i gario allan benderfyniadau y Cyfarfod Misol a phenderfyniadau y Cyfundeb ymhob peth. Mewn undeb y mae nerth. Gwna les mawr i chwi, tuag at gario hyn allan, fod mor gyson ag y byddo modd yn y Cyfarfodydd Misol. Penderfynwch yn awr ar y dechre mai adeiladwyr Sïon a fyddwch, ac nid rhai yn tynu i lawr. Gall y neb a fyno dynu yr adeilad i lawr, ond rhaid cael crefftwr a dyn da i adeiladu. Nid yr arwydd oreu yw gweled dyn ieuanc yn gwneyd arferiad o wrthwynebu pob peth, fel pe y mynai enwogi ei hunan mewn *rhyw* ffordd. Oni chaiff y cyfryw gyfnewidiad meddwl a buchedd yn fuan, odid fawr nad dybenu yn ddrwg iawn a wna. Gresyn mawr fod cynifer yn esgeuluso y Cyfarfod Misol a'r Gymdeithasfa pan y deuant i'r cyfleusdra. Y maent yn colledu eu hunain yn ddirfawr.

Gofalwch am gydweithredu â'ch gilydd yn ngwahanol ddyledswyddau eich swydd. Dylai fod gan swyddogion pob eglwys gyfarfod gyda'u gilydd, yn fisol o leiaf, er mwyn bwrw golwg ar yr eglwys, a'u gwaith hwythau ynddi. Dysgwch ymgolli o ran eich teimladau personol ymhob cylch, fel ag i'ch galluogi i gario allan weithrediadau y Cyfundeb yn ffyddlawn. Os bydd rhyw genadwri i'w chario i'r neu o'r eglwys, byddwch yn ffyddlawn, serch iddi fod yn un anhyfryd neu groes i'ch teimladau. "Wele, gwrandaw sydd well nag aberth, ac ufuddhâu na braster hyrddod." Wrth derfynu, os i wasanaethu yr eglwys y'ch galwyd, dymunwn i chwi gofio pwy yw "Pen yr eglwys," a'i fod Ef yn gwylio eich holl symudiadau a'ch amcanion. Cofiwch mai "yr Arglwydd Crist yr ydych yn ei wasanaethu," a bod "y rhai a wasanaethant swydd diaconiaid yn dda yn ennill iddynt eu hunain radd dda." Ië, ei "hennill" y maent, nid ei mynu, nid ei *demandio;* a gwybyddwch fod yr "henuriaid sydd yn llywodraethu yn dda yn deilwng o barch dauddyblyg." Cofiwch hefyd, os ydych yn swyddogion *gwirioneddol*, mai yr Arglwydd Crist ei hunan sydd yn eich gosod, a hyny mor wirioneddol ag y gosododd efe rai yn apostolion. Ac os felly, beth am y cyfrifoldeb? Peidiwch anghofio y *Meistr* na'r *amcan*, beth bynag, a chwi a gewch lawer o fwynhâd hyd yn nôd yn nghanol anghysuron y swydd; ie, chwi a gewch, ryw ddydd a ddaw, glywed y cyfarchiad bendigedig hwnw yn cael ei lefaru wrthych, "Da, was da a ffyddlawn, buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer; dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd."

---

## MYFYRDOD A GWEDDI.

Papyr a ddarllenwyd yn Nghyfarfod Misol y Roewen, Dyffryn Conwy, Chwefror 15,

*Gan y Parch.* E. FOULKES JONES, *Llansantffraid.*

MAE myfyrdod yn golygu dyn yn greadur yn gallu meddwl, a gweddi yn golygu dyn yn greadur dibynol, ac yn caru cymdeithasu â Duw, ffynonnell pob daioni. Trwy fyfyrdod y mae dyn yn dyfod i ddeall helaethrwydd ei ddibyniad, ac i adnabod yr Hwn y mae yn dibynu arno.

Mae y gair myfyrdod yn air eang iawn ei ystyr. Y peth cyntaf ynddo ydyw, fod yr enaid yn talu sylw i unrhyw wirionedd neu ffaith; a rhaid iddo fod yn sylw manwl a chraff. Ond y mae myfyrdod yn golygu mwy na rhoddi ystyriaeth i'r hyn sydd o flaen y meddwl: y mae yn cynnwys ymegnïad y meddwl i edrych ar wirionedd o bob cyfeiriad; ei droi a'i drosi i gael gweled pob wyneb iddo, a myned i mewn nes dyfod o hyd i'w gnewyllyn; ei chwalu a'i chwilio nes cael gafael ar ei sylwedd—ar ei hanfod.

Nid gweithrediad dysbeidiol ydyw myfyrdod, ond gweithrediad parhâus; ac i roddi parhâd i'r gweithrediad, rhaid cael nerth yr ewyllys. Nerth meddwl sydd yn treiddio i mewn i'r gwirionedd, ond nerth ewyllys sydd yn rhoddi parhâd i weithrediad y meddwl. "Myfyria yn y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros." "Ond sydd â'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos."

I berffeithio myfyrdod, rhaid fod ynddo weithrediad y serch. Cyn y gall neb gadw y meddwl yn hir gydag unrhyw wirionedd, rhaid iddo feddu hoffder ato. Yr oedd rhai o'r hen athronwyr yn anfoddlawn i ddefnyddio y gair myfyrdod ond at weithrediad y meddwl ar y gwirioneddau uchaf,—gwirioneddau sanctaidd; ac y mae rhai o'r geiriaduron goreu yn cefnogi y syniad. Nid y pleser o ddeall gwirionedd, ac nid y pleser o orchfygu anhawsder meddyliol, ac nid ychwaith y pleser o ddeall gwirionedd mawr a phwysig ei ganlyniadau, ydyw y gweithrediad yma, ond cariad at y gwirioneddau uchaf a sancteiddiaf sydd yn bod. "Bydded ymadroddion fy ngenau, a myfyrdod fy nghalon, yn gymeradwy ger dy fron, O Arglwydd, fy nghraig a'm Prynwr." Yr oedd y Salmydd am gael ei fyfyrdodau a'i

weddïau i gyfateb yn hollol i'w gilydd, a'r cyfan yn mhresennoldeb yr Arglwydd.

I gyrhaedd a sicrhâu dysgyblaeth feddyliol dda, rhaid wrth gymhorth yr Ysbryd Glân i roddi treiddgarwch i'r meddwl, a grym i'r ewyllys, ac yn enwedig i roddi cariad at y gwirionedd sanctaidd, gan fod ynom y fath wrthwynebiad cyndyn, fel creaduriaid llygredig, at y cyfryw wirionedd. "Ac efe a roes i ni feddwl fel yr adnabyddom yr Hwn sydd gywir."

Mae gweddi yn cyfodi o ddibyniad dyn ar Dduw. Hanfod gweddi ydyw cymdeithas yr enaid â Duw. Mae cymdeithas â Duw yn golygu adnabyddiaeth o Dduw; ac y mae adnabyddiaeth o Dduw yn golygu hunanadnabyddiaeth. Mae un hen awdwr galluog yn dyweyd fod hunanadnabyddiaeth yn cynnwys adnabyddiaeth o Dduw. Nid oes dim yn sicrach na bod hunanadnabyddiaeth, yn ngoleuni yr Ysbryd Glân, yn arwain i adnabyddiaeth o Dduw, ac adnabyddiaeth o Dduw, drachefn, yn arwain dyn i adnabod ei hun. Mae y naill yn adlewyrchu ar y llall yn y rhan fwyaf o amgylchiadau, fel y mae yn anhawdd dyweyd pa un yw y cyntaf, na pha un sydd yn arwain i'r llall.

Hanfod gwir grefydd ydyw ymhyfrydiad yr enaid yn Nuw; yr enaid yn gallu edrych gyda rhyw raddau o hyfrydwch ar briodoliaethau natur Duw; ac i'r graddau hyny y mae yr olwg arnynt yn ennyn y cariad puraf yn ei galon at Dduw. Y mae yn cydnabod ei awdurdod ac yn ymostwng iddo, yn cydnabod ei ddaioni ac yn diolch iddo, ac yn cydnabod ei berffeithrwydd anfeidrol ac yn ei ryfeddu. Yr enaid yn rhoddi mynegiad i'r teimladau yna ydyw addoliad, yr hyn ydyw un o elfenau mwyaf hanfodol gweddi. "Oblegid rhaid yw i'r neb sydd yn dyfod at Dduw, gredu ei fod ef." "Pan addolo y gwir addolwyr y Tad mewn ysbryd a gwirionedd, canys y cyfryw y mae y Tad yn eu ceisio i'w addoli ef. Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef addoli mewn ysbryd a gwirionedd." Yr oedd y Salmydd yn teimlo y gwirionedd hwn os nad oedd yn ei ddeall. "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef."

Elfen arall hanfodol mewn gweddi ydyw edifeirwch. Mae yn anmhosibl i ddyn fel creadur pechadurus ddal cymundeb â'r Arglwydd heb edifeirwch; ac y mae hwn yn agwedd meddwl sydd yn cynnwys gweithrediad bywiog ac egnïol yr holl enaid. Mae edifeirwch yn cynnwys cyffesiad o euogrwydd ein pechodau, yn ngoleuni dysglaer cyfiawnder natur Duw, ac yn cynnwys cyffesiad o lygredd calon y dyn ei hun. Mae yn cael yr olwg yna arno ei hun yn ngoleuni tanbaid sancteiddrwydd difrychau y natur Ddwyfol.

Yn nesaf at gymhwysder dyn i adnabod Duw y ceir ei allu i'w adnabod ei hun—i droi llygad y meddwl i mewn, i edrych ar weithrediadau ei enaid ei hun. Dyma un o'r pethau sydd yn ei gyfodi ymhell iawn uwchlaw yr anifail, ac yn ei wneyd yn debyg i'w Greawdwr. Dywed un hen awdwr Puritanaidd mai i ychydig ymhob oes y mae yr Arglwydd yn rhoddi y fraint o'u harwain i olwg yr euogrwydd ofnadwy sydd yn eu pechodau, a'r halogrwydd ffiaidd sydd yn eu calonau, a thrwy hyny eu tynu i gymdeithas agos iawn âg ef ei hun, a thrwy y cymundeb hwnw i raddau uwch na'r cyffredin mewn sancteiddrwydd. Dywed Coleridge fod "awr o unigedd wedi ei threulio mewn gweddi ddidwyll a difrifol, neu mewn ymdrech gyda, a goruchafiaeth ar un nwyd neu gyfrwys bechod mynwes, yn dysgu mwy o feddwl ac yn fwy effeithiol i ddeffro y gallu ac i ffurfio yr arferiad o fyfyrdod na blwyddyn o efrydu yn yr ysgolion heb hyny."

Elfen arall mewn gweddi ydyw, cydnabyddiaeth eang â chariad Duw at fyd colledig, dan y cymeriad o drugaredd faddeuol. Dyma sydd wedi rhoddi bôd i drefn y prynedigaeth. Mae yma faes eang a thoreithiog iawn, yn gofyn egnïon penaf yr enaid. Yma y dadguddir Person yr Arglwydd Iesu,—yr iawn a'r eiriolaeth. Cyfryngdod yr Arglwydd Iesu sydd yn gwneyd gweddi yn bosibl i bechadur, a thrwyddo ef yn unig y derbynir gweddi. Wrth y groes y gall pechadur edifarhâu, ac yno y gall efe ofyn am faddeuant, ac yno yn unig y gall dderbyn maddeuant, cyfiawnhâd, mabwysiad, a holl angenrheidiau ei enaid. Mae yn angenrheidiol iddo ddeall seiliau ei gymundeb â Duw, oblegid ar y rhai hyny yn unig y gall sefyll yn mhresennoldeb yr Anfeidrol, ac â'r rhai hyn y rhaid iddo lanw ei enau â rhesymau, os myn lwyddo gydag Ef. Y mae yr un mor angenrheidiol iddo hefyd ddeall ammodau ei gymundeb â'r Arglwydd. Rhaid iddo weddïo yn enw Crist—gweddïo mewn ffydd—gweddïo yn yr Ysbryd Glân —bod yn daer mewn gweddi—dyrchafu dwylaw sanctaidd heb na digter na dadl, ynghyd a lliaws o ammodau cyffelyb. Mae gan bob credadyn ei anghenion personol, teuluaidd a chyffredinol, i'w cyfleu ger bron yr Arglwydd; anghenion tymmorol i'w cyflenwi gan ragluniaeth yr Arglwydd, ac anghenion ysbrydol i'w cyflenwi gan ei ras ef. Os ydyw ysbryd y credadyn yn agos i'r agwedd y dylai fod ynddi, y mae anghenion y byd y tu allan iddo ei hun, yn dymmorol ac ysbrydol, yn cael ystyriaeth briodol ganddo; ac y mae yr ystyriaeth hono yn sicr o droi yn deimlad byw yn ei fynwes, ac nid oes agorfa briodol i'r teimlad yna ond mewn gweddi

at Dduw ei einioes. Mae yn y Bibl wirioneddau ac addewidion cyfoethog ryfeddol ar gyfer yr holl anghenion yna; a gwaith myfyrdod ydyw chwilio am yr addewidion a'r gwirioneddau priodol, a chloddio i mewn i'w hystyr, er mwyn eu defnyddio yn briodol, ac wrth eu defnyddio felly ger bron yr Arglwydd, ymaflyd yn ei nerth a gwneuthur heddwch âg ef. Mae gwneuthur defnydd anmhriodol o athrawiaethau ac addewidion y Bibl yn hynod o annymunol i'r meddwl dynol coeth a deallus. Pa faint mwy y rhaid ei fod i Ysbryd y gwirionedd, yr hwn a roddodd i ni y Gair sanctaidd, ac sydd wedi ei addaw i ni i'n tywys i bob gwirionedd ynddo? Ai nid yw yn bosibl fod ein diffyg ni o ddefnyddio yn briodol yr Ysgrythyrau sanctaidd yn un achos o aflwyddiant ein gweddïau, ac yn brawf rhy amlwg o ddyeithrwch ein meddwl i lyfr yr Arglwydd, a'n pellder o gymdeithas yr Ysbryd?

Nid oes ar y cristion myfyrgar eisieu ffurfweddïau. Nis gellir ei gadw o fewn ffurf. Mae yn rhy fywiog ei feddwl ac yn rhy eang ei galon. Nid oes berygl iddo ef fyned yn ffurfiol, gan fod maes ei fyfyrdodau mor eang a thoreithiog. Ac nid oes berygl iddo fod yn anweddus, o'r ochr arall, am fod preswyliad yr Ysbryd Glân ynddo, a'i gymundeb gwastadol â Duw yn Nghrist, â'i galon ei hun a'i gyflwr, â gair y gwirionedd, ac âg anghenion y byd, ac â'r prynedigaeth sydd yn Nghrist, yn ei gadw o fewn terfynau priodol, ac yn ei ddysgu i nesâu at Dduw gyda gwylder a pharchedig ofn. Mae gweddi y cristion myfyrgar yn sicr o fod yn weddi lwyddiannus, am fod ynddi elfenau llwyddiant. "Mewn gweddi efe a weddïodd."

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## GWAREDWR ERAILL HEB ALLU EI WAREDU EI HUN.

*Pregeth gan y Parchedig* John Elias.

(A draddodwyd ganddo pan ar daith drwy ran o Sir Drefaldwyn yn 1819.)

Matthew xxvii. 42: "Efe a waredodd eraill; ei hunan nis gall efe ei waredu."

O'r holl lyfrau sydd yn y byd, y llyfr rhyfeddaf, y llyfr sydd yn llawn o'r rhyfeddodau mwyaf, ydyw y Bibl; ac o'r holl ryfeddodau sydd yn y Bibl, y rhyfeddod fwyaf ydyw hanes dyoddefiadau ac angeu Crist. Pan feddyliom yn ddifrifol am ddyoddefiadau y Gwaredwr, y mae rhyfeddodau mawrion y greadigaeth a rhagluniaeth bron yn myned o'r golwg. Nid oes rhyfeddodau mwy i'w cael. Pan fyddom yn meddwl am ddyoddefiadau Crist, dylai dau beth fod yn wastad o flaen ein meddwl: mawredd y Person a ddyoddefodd, a'r achos iddo ddyoddef. Pe byddid yn myned drwy dref, ac yn gweled dyn yn cael ei ddienyddio, byddai yn naturiol iawn i ni ofyn, Pwy ydyw y dyn, a pha beth a wnaeth efe? Felly wrth ddarllen neu glywed am ddyoddefiadau a marwolaeth yr Arglwydd Iesu, y mae yn naturiol gofyn, Pwy oedd efe, a pha beth a wnaeth? Os gofynir pwy oedd efe, yr wyf yn ateb mai un digyffelyb ydoedd, un nad oedd yn drais iddo dybied bod yn ogyfuwch â Duw; y Gair oedd yn y dechreuad gyda Duw, a Duw oedd y Gair; yr hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd; y gwir Dduw a'r bywyd tragywyddol; gwir lun Person y Tad, yr hwn sydd yn cynnal pob peth drwy air ei nerth. Hwn yw y gŵr oedd ar y groes, ond ei fod wedi disgyn i gymeryd natur arall fel y gellid ei hoelio ar y croesbren. Cymerodd arno agwedd gwas; boddlonodd i fod am ychydig amser yn îs na'r angylion, a chymerodd ein natur ni fel y gallai ddyoddef. Dyna yr un oedd yn dyoddef ar y groes: Mab Duw wedi cymeryd natur dyn. Os gofynir, Pa beth a wnaeth efe? yr ydym yn ateb, Ni wnaeth ddim allan o'i le; nid adnabu bechod, ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau. Yr oedd yn sanctaidd, diddrwg, dihalog, a didoledig oddiwrth bechaduriaid. Gan bwy yr oedd y llywodraeth dros neu yn nyoddefiadau Crist? Barnydd yr holl ddaear, yr hwn nid yw yn gweled yn dda wneuthur cam â gwr yn ei fater. A wnaeth efe gam â'i Fab! Naddo. Pa fodd ynte, gan fod y Tad yn meddu y llywodraeth ar angeu Crist, a bod Crist heb wneuthur dim allan o'i le? Am ei fod wedi cymeryd lle rhai ag oedd wedi gwneuthur pob drwg. Yn lle rhai felly yr aeth efe i angeu y groes. Nid ydym yn meddwl yn ein lle am ddyoddefiadau Crist os nad ydym yn ystyried y ddau beth a nodwyd. Y mae golygiadau isel iawn gan lawer am Grist. Rhaid i ni feddwl yn briodol am ei ddyoddefiadau cyn cael budd oddiwrthynt, sef, ei fod yn lle eraill, dan bechodau rhai eraill. Dylid ystyried tri pheth am ei ddyoddefiadau o ran ei gorff: gwaradwydd dirfawr, loesau anghymharol, a'r felldith oedd arno. Ni bu neb dan gymaint o waradwydd âg ef. Y diystyraf o'r gwŷr ydoedd; ac am loes ac ing ei gorff, yr oeddynt tu hwnt i ddyoddefiadau neb eraill. Yr oedd hefyd yn marw dan

felldith. Cafodd ei wneyd yn felldith drosom ni. "Melldigedig yw pob un sydd yn nghrog ar bren," medd yr hen Ysgrythyr. Bu Crist farw yn nghrog ar bren, ac felly yn cael ei gyfrif dan y felldith.

Dywedwyd geiriau ein testun gan ddynion drwg, gan wawdwyr creulawn; eto y mae pethau da yn cael eu cynnwys ynddynt er mai gwawdwyr a'u llefarodd. Y maent yn wir, ac wedi eu cadw i ni yn y Bibl, o ysbrydoliaeth Duw. Cawsant eu llefaru gan yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid a'r offeiriaid a'r henuriaid mewn gwawd er dirmygu Crist pan yr oedd yn dyoddef ar bren y groes. Y mae dynion drwg weithiau wedi cyffesu pethau a fu o gysur ac addysg i eglwys Dduw. Llefarodd Balaam lawer o bethau da; ac fe lefarodd Caiaphas bethau da, ac felly yr un modd yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion, er eu holl genfigen a'u llid. "Eraill a waredodd, ei hunan nis gall efe ei waredu."

Y mae tri pheth i'w gweled yn y geiriau hyn :—

I. Y peth da ag oedd yn cael ei addef gan elynion Crist: "Efe a waredodd eraill."

II. Y celwydd oedd yn cael ei daeru ganddynt: "Ei hunan nis gall efe ei waredu."

III. Y gwirionedd pwysfawr cynnwysedig yn y geiriau, er nad oeddynt hwy yn eu deall.

I. *Y pethau da am Grist oedd yn cael eu haddef gan ei elynion:* "Eraill a waredodd." Yr oedd ei elynion yn aml iawn yn gorfod addef pethau da am dano. Yr oedd Crist yn myned o amgylch gan wneuthur daioni. Yr oedd llygaid ei elynion y pryd hyn ar y gwyrthiau grasol a wnaethai. Gwaredodd lawer o'r cyfyngderau mwyaf. Gwaredodd ddeillion o wasgfeuon eu dallineb; gwaredodd fyddariaid o'u byddardod, a mudion o'u mudandod, a lloerig o'u lloerigrwydd a chaethiwed ysbrydion drwg, a gwaredodd feirwon o afaelion marwolaeth.

II. *Y camdystiolaeth, neu y celwydd oeddynt yn ei daeru*—sef "Ei hunan nis gall efe ei waredu." Yr oedd gallu anfeidrol gandd o, felly buasai yn hawdd iawn iddo ei waredu ei hun a disgyn oddiar y groes, pe buasai yn dewis.

III. *Y mae gwirionedd pwysfawr yn cael ei gynnwys yn y geiriau, er nad oeddynt hwy yn deall hyny.* Nis gallasai efe ar amryw gyfrifon ei waredu ei hun. Gallasai o ran ei nerth, ond nis gallasai o ran ei gyfammod. Ar amryw ystyriaethau yr oedd yn briodol dyweyd, "Ei hunan nis gall efe ei waredu." Yr oedd yn rhwym fel Meichia, oblegid yr oedd yn rhaid i'r dyledwr, neu y Meichia ddyoddef. Yr oedd raid cosbi pechod. Yr oedd raid boddloni cyfiawnder. Yr oedd raid i gyfiawnder gael taro yn rhywle. Os mynai efe waredu eraill, nis gallai ei waredu ei hun. "Os myfi yr ydych yn ei geisio, gadewch i'r rhai hyn fyned ymaith." Ei hunan nis gall efe ei waredu.

Enwaf bedwar neu bump o bethau er egluro nas gallasai yr Iesu ei waredu ei hun.

I. Nis gallasai ei arbed a'i waredu ei hun gan rym ei gariad. Cariad oedd y cynhyrfiol achos i'r Tad anfon ei Fab i'r byd, a chariad oedd yn cymhell y *Mab* i ddyfod. Nid oedd dim a allasai ei anfón i'r byd oni buasai ei gariad. Ei gariad yn unig oedd yr achos. Nid oedd dim rhwymau arno i ymgnawdoli oni buasai teimladau a bwriadau ei dragywyddol gariad, a'i awydd grasol i achub pechaduriaid." "Yn hyn y mae cariad, nid am i ni ei garu ef, ond am iddo ef yn gyntaf ein caru ni; ac anfon ei Fab i fod yn iawn am ein pechodau." "Felly y carodd Duw," ac oddiar hyny yr anfonodd ei Fab i wneuthur iawn er agor ffordd y cymmod. *"Felly* y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Gorchymynir i'r gwŷr garu eu gwragedd "megys y carodd Crist ei eglwys ac a'i rhoddes ei hun drosti." Gorchymynir i ni garu ein gilydd "megys y carodd Crist ninnau, ac a'i rhoddes ei hun drosom yn offrwm ac yn aberth i Dduw o arogl peraidd." Cariad oedd yr achos iddo ddyfod i'r byd; ac am iddo ddyfod o achos ei gariad, nid oedd yn bosibl iddo ei waredu ei hun; a daliodd ei gariad yn ei wrês a'i nerth, yn oleu ac yn danllyd, ymhob amgylchiad y bu ynddo. Ei hunan nis gallasai efe ei waredu gan rym angerddol ei gariad. Yr oedd ei gariad yn gryfach na'r hoelion yn ei ddal wrth y groes.

2. Nis gallasai ei waredu ei hun oblegid ei ffyddlondeb. Gwyddai am ei gyfammod â'i Dad er tragywyddoldeb; ac ni oddefai ei ffyddlondeb i ammodau y cyfammod iddo ei waredu ei hun o'r groes. *Ymddiriedodd* ei Dad i'w ymrwymiad am dros bedair mil o flynyddoedd cyn ei ddyfodiad i'r byd; ac yr oedd yn cofio yr ammodau a'r llwon yr oedd wedi eu gwneyd, ac yr oedd yn benderfynol am eu cadw. Felly nis gallasai ei waredu ei hun oblegid ei ffyddlondeb.

3. Nis gallasai ei waredu ei hun, oblegid pe buasai yn ei waredu ei hun o'r dyoddef ac o'r groes, ni buasai yr Ysgrythyrau yn cael eu cyflawni, na'r cysgodau eu sylweddu. Buasai yr hen addewidion yn cael eu dirymu pe buasai yn gwrthod y groes.

4. Nis gallasai ei waredu ei hun, oblegid ei fod wedi mynych ragddywedyd *y byddai* raid iddo ddyoddef. Rhagbysbysodd lawer gwaith y byddai raid iddo ddyoddef; a

phe buasai yn peidio, ac yn ei waredu ei hun, buasai yn tori ei addewidion.

5. Nis gallasai ei waredu ei hun, o herwydd pe buasai yn ei waredu ei hun, nis gallasai waredu eraill. Pe buasai yn ei waredu ei hun, nid allasai wisgo yr enw na'r cymeriad o fod yn Waredwr pechaduriaid. Yr oedd holl fryd ei feddwl am waredu eraill; ac yr oedd ei gariad am waredu eraill mor gryf, fel yr oedd yn well ganddo fod heb ei waredu ei hun oddiar y groes na bod heb fodd i waredu eraill. Ond ymhen ychydig amser ar ol dyoddef angeu y groes, yr oedd yn ei allu ei waredu ei hun, a gwaredu eraill hefyd. Erbyn bore y trydydd dydd, yr oedd ganddo allu a modd i'w waredu ei hun ac i waredu eraill hefyd. Nid oedd yn bosibl attal ei adgyfodiad. Er iddo gael ei groeshoelio a'i ladd trwy ddwylaw anwir, darfu i Dduw ei adgyfodi, "gan ryddhâu gofidiau angeu, canys nid oedd bosibl ei attal ef ganddo."

Crybwyllaf ychydig addysgiadau oddiwrth y pethau hyn: "Efe a waredodd eraill; ei hunan nis gall efe ei waredu."

1. Gwelwn elyniaeth greulawn dynion pan y gallent wawdio Crist tra yr oedd yn ei ing trwm ar y groes. Ac nid yw yr elyniaeth sydd yn ein calon ninnau wrth natur ddim yn llai. Y mae llid a malais a chynddaredd gelyniaeth calon lygredig at Grist i'w weled yn nrych y gwawd oedd yn cael ei fwrw arno pan oedd yn dyoddef dan y drain a'r hoelion ar y groes. Pe buasit tithau, bechadur euog, yn yr un man, buasit yn hoffi gwneuthur yr un pethau.

2. Gwelwn hefyd fawr ogoniant cymeriad Crist fel Gwaredwr pechaduriaid "Eraill a waredodd." Daeth i'r byd i waredu eraill; ac yr oedd ynddo bob cymhwysder i fod yn Waredwr; a'i bryder i waredu, a'i awydd i waredu, a zel dros gael modd i waredu, a ddarfu ei gymhell i'r groes. Yr oedd yn well ganddo waredu eraill na'i waredu ei hun. Gall yn awr wneyd i'r dall ysbrydol weled, i'r mudan ysbrydol lefaru, i'r cloff ysbrydol rodio, ac i'r marw ysbrydol fyw. Y mae ganddo yn awr gymaint o allu i wared eneidiau ag oedd ganddo i waredu cyrff pan yma yn y byd.

3. "Eraill a waredodd;" fel hyn, bechadur, y mae yma le i tithau ddyfod ymlaen. Y mae rhyddid i bawb nesu ato, a dywedyd eu tywydd wrtho, oblegid y mae rhai o'r un cymeriadau wedi cael eu gwared ganddo. Eraill a waredodd o gymaint gelyniaeth yn erbyn Duw â thithau; eraill a waredodd o gan drymed euogrwydd â thithau; eraill a waredodd âg yr oedd eu pechodau mor aml â thithau; eraill a waredodd o gymaint caledwch calon â thithau; eraill a waredodd o gymaint cyfyngderau a phrofedigaethau â thithau. Do, gwaredodd y penaf o bechaduriaid. Gwaredodd y rhai duaf, mwyaf caled a ffiaidd, a fu erioed yn rhodio'r ddaear.

4. "Eraill a waredodd, ei hunan nis gall efe ei waredu." Gan ei fod ef wedi sefyll a dyoddef ar y groes yn lle eraill, a allwn ni feddwl y gâd ef yr eraill hyny i'r diafol? Wedi iddo fyned dan yr hoelion ar y groes, ac aros ar ei groes drwy holl boethder y dyoddefiadau, ac aros yno nes boddloni cyfiawnder, a thalu y ddyled, a myned drwy y gwaith mawr i gyd, nid oes eisieu iddo ddyoddef eto. Y mae wedi dyoddef unwaith, ac nid â ei ddyoddefiadau yn ofer. Buasai yn hawdd iddo ymryddhâu, a neidio oddiar y groes; ond wedi iddo aros drwy yr ystorm danllyd ar Galfaria, a ydwyt ti yn meddwl y gâd efe eto i Satan y rhai a gredant ynddo? Na! fe faedda gyndynrwydd y galon, a dryllia gadwyni Satan. Gan iddo ddyoddef i waredu, efe a wared.

"Eraill a waredodd, ei hunan nis gall efe ei waredu." Gwaredu eraill oedd ar ei feddwl pan oedd yn dyoddef. Nid ei esmwythdra ei hun, ond gwaredigaeth i eraill, yr oedd yn ei geisio. Gan awydd ei enaid i waredu eraill, ni fynai ryddhâu ei draed na'i ddwylaw oddiwrth y groes. Ni ddisgynai efe ddim oddiar y pren, o herwydd ei fawr gariad tuag atom ni. Ac a oes yma rywun a erys gyda'i eilunod, heb fyned ar ol y Crist a groeshoeliwyd, pan y mae yn galw ar ein hol? Ni waredai ef mo hono ei hun oddiar y groes o herwydd ei fawr awydd i achub pechaduriaid, nes rhoddi pridwerth, neu daliad llawn am eu rhyddhâd a'u hachubiaeth. Gan hyny ni chaiff y diafol mo honynt. Nid oes yr un carchar a'u ceidw yn gaethion. Mŷn eu Gwaredwr hwy yn rhydd. Gan ei fod ef wedi dyoddef a gwneyd iawn ar y groes, efe a fyn waredu eraill. Nid oes yr un rhwystr iddo allu eu gwaredu. Y mae y ddyled oll wedi ei thalu; y mae cosb pechod wedi ei dyoddef; y mae Iawn mawr wedi ei roddi; y mae cyfiawnder wedi cael ei foddloni, a bywyd yr euog wedi cael ei ennill. "Eraill a waredodd," y trymaf ei faich, y mwyaf ei drueni. Gall wared y mwyaf llwythog a blinderog, a'r mwyaf trallodedig sydd yn methu byw. Nid oes yma neb nad all ef eu hachub. "Eraill a waredodd." Ni fwriodd neb allan erioed. Nid yw ei ras wedi lleihâu dim. Nid oes yr un claf yn rhy ddrwg iddo ei wella, na'r un baich yn rhy drwm iddo allu ei ddwyn, na neb yn rhy aflan iddo allu ei lanhâu. Gweled ei ogoniant a gaffom! mawrhawn a dyrchafwn y fath Waredwr, gan ymddiried ynddo byth.

RHWYSTRAU I ADFYWIADAU CREFYDDOL.

GOFYNIAD pwysig ydyw, Paham na byddai adfywiadau crefyddol yn fwy cyffredinol, yn fwy parhâus, ac yn fwy ëang? A'r ateb yw, fod rhyw bethau yn rhwystrau i'w cychwyniad, a'u bod yn fynych yn cael eu hattal i fyned rhagddynt wedi y dechreuont.

Edrychwn ar y rhwystrau sydd yn lluddio eu dyfodiad.

Achos mawr o rwystr ydyw fod yr eglwysi heb gadw i fyny at eu hamcan penaf. Nid ydynt yn gwneuthur tröedigaeth y rhai annuwiol fel eu nôd mawr ac arbenig. Iachawdwriaeth eneidiau dynion oedd dyben dyfodiad Crist i'r byd; a phan yr oedd efe ar adael y byd, efe a ymddiriedodd offerynoldeb y gwaith hwn i'w ddysgyblion ymhob cenedlaeth. Ei ddysgyblion cyntaf, yn llawn o'r Ysbryd Glân ac o ffydd, a wynebasant ar y gwaith hwn, ac a dreuliasant eu bywydau a'u cwbl i'w gyflawni. Planasant eglwysi ymron ymhob rhan o'r byd gwareiddiedig. Ond y mae yn agos i ddeunaw can' mlynedd wedi myned heibio er pan yr hunasant hwy; a phrin y bu, hyd yn ddiweddar, unrhyw ledaeniad ar Gristionogaeth tu hwnt i'r terfynau ei dygwyd ganddynt, tra, o fewn y terfynau hyny, y ceid crefydd Crist, fynychaf, mewn cyflwr o lesgedd galarus neu wyrdröad erchyll. Y rheswm am hyn ydoedd, fod y cenedlaethau olynol o gristionogion yn gadael heibio y gwaith ba un yr oedd y dysgyblion cyntaf yn rhoddi eu heinioes. Pwy bynag a ddyrchafo ei lygaid, ac a edrycho, yn ysbryd Crist, dros hŷd a llêd y rhan fwyaf o'r gwledydd efengylaidd, a wêl y lliaws o gristionogion proffesedig yn ymdrafferthu gyda phob peth ymron yn hytrach na chyflawni gorchymyn penodol eu Harglwydd i ddysgu yr holl genedloedd, a phregethu yr efengyl i bob creadur. Hyn, gyda chariad at esmwythder, arian, difyrwch, anrhydedd, ymysg proffeswyr crefydd, yn lle awyddfryd gwresog a gweithgar am dröedigaeth pechaduriaid cyfrgolledig, a diffyg sancteiddrwydd, gostyngeiddrwydd, a dibyniad ar Dduw mewn pregethwyr, ydyw yn ddiau y rhwystr mwyaf i adfywiadau—y mynydd mawr sydd yn sefyll ar ffordd cynnydd ymhelaethol yr eglwys.

Mae anghredu mewn adfywiadau—diffyg ffydd ynddynt—yn achos arall o rwystr. Weithiau y mae hyn yn cymeryd ffurf o wrthwynebrwydd pendant; ac y mae geiriau difrifol Dr. Porter yn haeddu cael eu swnio yn uchel a difrifol yn nghlustiau y rhai gwrthwynebus. Gan lefain am yr adfywiadau yn y rhan foreuol o'r ganrif hon, efe a ddywed, "Mewn rhai engreifftiau, yr oedd yr Ysbryd Glân yn cael ei luddio gan wrthwynebiad penderfynol ar ran gweinidog, neu brif aelodau mewn eglwys. Megys y mae pechod na faddeuir mo hono, pan yn cael ei wneuthur gan ddirmygwyr o Dduw a'i ras—pechod sydd yn anfaddeuol, nid am ei fod tu hwnt i drugaredd Duw a haeddiant Crist, ond am y gadewir y pechadur iddo ei hun, ac am hyny nad edifarhâ efe—felly y mae eglwys lle byddo gweinidog neu aelodau yn difrïo gwaith neillduol yr Ysbryd Glân, gan ei briodoli i benboethni, neu i weithrediad Satan, yn cael ei gadael i wywo dan ymadawiad barnol Duw, fel mynyddoedd Gilboa heb arnynt wlith na gwlaw. Mae rhai esiamplau arswydus o'r fath yma ar gael yn hanes Lloegr Newydd."

Ond gall fod teimladau o anhyder lle na byddo gwrthwynebiad cyhoeddus. A lle byddo y teimladau hyn yn ffynu, nis gall fod yn achos syndod fod adfywiadau helaeth a nerthol heb gymeryd lle. "Pe gwyddwn," medd un, "fod adfywiadau heb gael eu dymuno, ond yn hytrach yn cael eu hofni, ni byddai arnaf eisieu un rheswm arall paham nad ydynt yn cael eu mwynhâu." Yr ydym yn ofni yn fawr fod yr anymddiried mewn diwygiadau sydd yn meddyliau rhai, hyd yn nôd gweinidogion, ac ammheuaeth, ar y cyfan, o'u dymunoldeb, wedi tristâu Ysbryd y gras, a rhwystro ei ymweliadau i sirioli a bendithio eglwysi'r tir. Nid yw y gwrthwynebiadau iddynt gan rai yn sefyll yn eu herbyn yn gyhoeddus ond ychydig mewn cymhariaeth i oerfelgarwch y rhai a ddylent fod yn gyfeillion a chynnorthwywyr iddynt. Gall planigion llysieudŷ *(greenhouse)* ddal yr ystormydd oddiallan; ond os bydd talpiau o rew gyda hwy oddimewn, pa fodd y gallant dyfu? Mae yr hyn a ddywed Dr. Skinner ar hyn yn deilwng o sylw: "Ni ddylai un dyn feithrin unrhyw anymddiried neu ddrygdyb gyda golwg ar adfywiadau crefyddol, y rhai a wnaethant ein gwlad [America] yn un arbenig yn ngolwg yr holl fyd. Os gellir edrych arnynt yn achlysuron o rywfath o ddrygau, meddylier am yr holl bethau daionus a dymunol yr ydym yn ddyledus iddynt, dan fendith Duw, am eu cael. Os ydym yn ammheu dymunoldeb y tywalltiadau neillduol hyn o'r Ysbryd, oni ddylem, i fod yn gyson â ni ein hunain, ammheu goruchafiaeth ddyfodol gyffredinol Cristionogaeth? Mae drygau, yn wir, yn ddygwyddiadol i adfywiadau; ond pa gymaint o ddaioni yr ydym yn ei golli hebddynt? A phan y dechreua un wrthddadleu yn erbyn pethau daionus ac anghenrheidiol o herwydd drygau y gallant fod yn achlysur o honynt, pa fodd y gall hwnw aros heb wrthddadleu yn erbyn

ymgnawdoliad Crist, pregethiad yr efengyl, llywodraeth Duw, ei hanfodiad ei hun, ac hyd yn nôd creadigaeth y byd?"

I fyned ymlaen: gall gweinidog rwystro cychwyniad adfywiad. Ysgrifenydd, yn ei hanes am eglwysi Lloegr Newydd ryw hanner canrif yn ol, a ddywed fod yno gynnulleidfaoedd yn nghanol cawodau y dylanwad Dwyfol oedd o'u hamgylch yn hollol amddifad o honynt, ac mai "y gweinidog oedd y rhwystr mwyaf i ddiwygiad ymhlith ei bobl, a hyny er nad oedd efe yn euog o un heresi, neu anfoesoldeb, neu wrthwynebrwydd i adfywiadau." Yr oedd, medd efe, y brawd A. yn un o ardymher segurllyd a diymdrech. Yr oedd y brawd B. o chwaeth lenyddol, yn eilunaddolwr llyfrau, yn enwedig o lenyddiaeth boblogaidd, trwy yr hyn yr oedd ei ysbrydolrwydd yn cael ei anmharu. Yr oedd y brawd C. yn hoff o wleddoedd a chyfarfodydd difyrwch, ac yn arfer cellweiriaeth ddigrif, yr hyn oedd yn dyfetha perarogl duwioldeb, ac yn ei anghymhwyso at waith perthynol i adfywiad. Yr oedd y brawd D. yn niweidio ei ddefnyddioldeb trwy y lliaws o fydol bethau oedd yn llanw ei ddwylaw; ac nid oedd ganddo amser na chalon i helpio mewn dwyn ymlaen gyfarfodydd diwygiadol. Yr oedd y brawd E. mor awyddus am arddull glasurol, fel yr oedd efe yn aberthu gwres a grym i addurn areithyddol. Ac yr oedd y brawd F. yn un o bregethwyr moesoldeb, yn collfarnu beiau, ac yn dyrchafu rhinweddau, ond heb bregethu ynghylch pechod na phrynedigaeth. "Nid oedd y gweinidogion hyn yn mwynhâu adfywiadau; a hwynt-hwy eu hunain oedd y prif achos o hyny."

Ymhellach: gall diffyg gweithgarwch ar yr amser priodol achlysuro colli adfywiad. Os bydd Duw yn tywallt ei Ysbryd o'n hamgylch, dyna amser yn ddiau i ni weithio. Os yw un ochenaid gan wir gristion, medd hen dduwinydd, yn ysgogi llestr Sion tua'r hafan ddymunol, pa faint mwy y gwna awel o ocheneidiau a anadlir gan gannoedd o gredinwyr? Os yw un udgorn yn seinio mor uchel yn nghlustiau Duw, pa faint mwy y seinia yr holl udgyrn arian ynghyd? Lle byddo cymaint o ddwylaw yn cyd-ddyrchafu, pa gymaint o fendithion y gellir dysgwyl iddynt eu tynu i lawr o'r nefoedd? Yr ydym yn darllen am Eliseus yn ymyl marw yn gorchymyn i'r brenin Joas gymeryd bwa a saethau, a tharo'r ddaear â hwy. "Ac efe a darawodd dair gwaith, ac a beidiodd." Yr oedd hyny yn gofidio ysbryd y prophwyd claf, ac efe a ddywedodd, "Dylesit daro bump neu chwech o weithiau; yna y tarawsit Syria nes ei difa; ac yn awr tair gwaith y tarewi Syria." Yr oedd ei dri tharawiad yn dangos ei duedd i ddiofalwch a segurdod, ac yn arwydd y byddai ychydig fuddugoliaethau ar elynion Israel yn ddigon i foddloni dyn hoff o esmwythder a llonyddwch; a dyna oedd y cwbl a roddodd yr Arglwydd iddo. Fel hyn y gall eglwys, oddiar ysbryd anmhenderfynol a musgrell, golli buddugoliaeth ardderchog. Mewn amser o fywiogrwydd crefyddol, ysgrifenai Dr. Nettleton fel y canlyn at un o'i frodyr yn y weinidogaeth: "Mae yn adeg i holl gyfeillion Sïon barotoi ffordd yr Arglwydd trwy yr holl drefi yn y parthau hyn. Mae yr holl feusydd yn gwỳnu o'n hamgylch; ac er y gall Duw greu a chasglu'r cynauaf heb offerynoldeb dynol, eto nid ydym i ddysgwyl hyny. Mae adfywiad, ar ol ei gychwyn, yn debyg o laesu os na wesgir yn barhâus gymhelliadau yr efengyl ar gydwybodau y rhai a ddihunir. Mae profiad yn dangos fod Duw yn llawer mwy helaeth yn bendithio'r moddion i eangu ei waith nag y gwna i'w gychwyn yn nghanol tywyllwch a marweidd-dra. Megys y mae tröedigaeth un pechadur yn fynych yn foddion dihuno pob aelod o'r teulu, a'r cynhyrfiad yn cael ei deimlo drachefn gan berthynasau a chymydogion, a thrwy yr holl bentref a'r dref, felly gall y naill dref fod yn foddion adfywiad i dref arall, a hono i un drachefn. Mae tymmor cynauaf mor wirioneddol yn y byd moesol âg yn y byd naturiol. Y pryd hwn y mae eisieu egni pob llaw a all ddal cryman. Esgeuluser y cynauaf sydd lawn addfed am ychydig ddyddiau, a dyna efe wedi ei ddyfetha. Y mae'r fath beth âg argyfwng *(crisis)* yn nheimladau pobl, yr hwn, os na iawn ddefnyddir ef, a bair i eneidiau'r genedlaeth hono fod heb eu casglu. Yn nhymmor adfywiad, mynych y gwneir mwy i sicrhâu iachawdwriaeth eneidiau mewn ychydig ddyddiau neu wythnosau nag mewn blynyddoedd o bregethu ar amserau eraill. Mae un bregeth mewn amser o adfywiad lawer gwaith wedi gwneyd mwy o waith achubol na chant o bregethau cystal â hithau ar amser marwaidd ar grefydd. Ac yr wyf yn gwbl gredu y gellir colli mwy o ddaioni trwy'r diffyg am yr un bregeth hono y pryd hwnw nag a ellir wneyd gyda hi, a chyda mil o'i chyffelyb, wedi i'r tymmor diwygiadol fyned heibio."

Eto: gall adfywiad gael ei rwystro o eisieu cydweithrediad yn yr eglwys. Yr oedd Jonathan Edwards, yn yr adfywiad mawr a fu yn gysylltiedig âg ef, yn cwyno am y rhai oedd "yn sefyll o hirbell, ac yn cadw yn ddystaw," ac yn dywedyd fod y cyfryw rai yn eu gosod eu hunain yn agored i felldith Meroz "am na ddaethant yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn

erbyn y oedyrn." Mr. Spurgeon, wrth sylwi ar y melldithiad hwnw, a sylwa fod y fath felldith i ddyfod yn sicr ar bob proffeswr crefydd sydd yn hwyrfrydig ac anmharod i gynnorthwyo yr eglwys yn nydd llafur ei henaid. "Ac oni byddwn yn rhwystro llafurwaith yr eglwys os na chymerwn ran ynddo? Mae llawer o aelodau eglwysig yn meddwl, os na byddant yn gwneuthur drwg ac yn peri gofid, fod pobpeth yn iawn gyda hwy. Nage, nid fel hyna. Dyma gerbyd, ac yr ydym oll yn rhwymedig i'w dynu. Mae rhai o honoch nad ydych yn rhoddi eich dwylaw i dynu; wel, ynte, bydd raid i'r lleill o honom lafurio mwy o gymaint a hyny; a'r gwaethaf yw, fod eisieu i ni eich tynu chwithau hefyd. Tra nad ydych yn chwanegu at y nerth sydd yn tynn, yr ydych yn gwneyd y pwys sydd i'w dynu yn fwy. 'Ië, meddwch chwi, 'ond nid wyf fi yn rhwystro.' Ydych! yr ydych yn rhwystro; nis gellwch beidio bod yn rhwystrus. Os nad yw coes dyn yn ei helpio i gerdded, rhaid ei bod yn rhwystr iddo. O nis gallaf ddyoddef y meddwl am hyn! Drwg yn wir a fyddai i mi fod yn rhwystr i gynnydd fy enaid fy hun; ond am i mi sefyll ar ffordd pobl Dduw, ac oeri eu gwresogrwydd, a phylu awch eu gwroldeb,—O fy Meistr, na fydded hyny byth! Boed i mi yn hytrach gysgu gyda phriddellau'r dyffryn na bod yn rhwystr i'r gwaith lleiaf a wneir er mwyn dy enw." Mae llawer gweinidog difrifol, gydag enaid yn dyheu am dröedigaethau, wedi gorfod galaru am y diffyg hwn o gydweithrediad ar ran ei frodyr, ac wedi ymron golli ei fywyd trwy hyny. Mynych y gwna eglwys ddiegni a diffrwyth, neu un aelod ystyfnig neu gysglyd, beri aflwyddiant ar ymdrechiadau rhagoraf y gweinidog doethaf a ffyddlonaf. —*Y Parch. Dr. Fish.*

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD VI.

*Y Gwyddel.*

Mae yn debyg nad ydyw fy mhrofiad i yn wahanol i'r eiddo dynion eraill sydd wedi bod yn ceisio myned yn ol at ddechreuad pethau. Mor anhawdd ydyw i mi gael gafael ar ddechreuad unrhyw beth yn fy hanes! Er engraifft, pa bryd y daethum i ddeall fod cysylltiad agosach rhyngof fi â fy mam rhagor â rhyw wraig arall? Pa bryd y dechreuodd y drychfeddwl am Dduw ffurfio yn syniad ynof? Pa bryd y daethum i ddeall fy mod yn fôd gwahanol i bawb? Pa bryd y dechreuodd y syniad am gyfrifoldeb, am bechod, ac am fyd arall, ddyfod yn rhan o fy ymwybyddiaeth? ac yn y blaen. Pan geisiaf fyned yn ol, a sefydlu ar bwynt fel dechreuad y syniadau hyn a'r cyffelyb, byddaf yn gweled yn union fy mod yn camgymeryd, a bod y pwynt ymhellach yn ol fyth; ac wrth ei ddilyn byddaf yn ei golli yn y diddechreuad. Nis gwn pa fodd i roddi cyfrif am hyn. Onid ydyw y côf yn croniclo dechreuad pethau yn y meddwl? A raid i ddechreuad peth fod wedi cymeryd lle am ryw gyhyd o amser cyn y gall y côf dderbyn yr argraff o hono? Neu, a ydyw dechreuad peth yn y meddwl a'r côf am dano yn gydamserol? A ydyw pob syniad y mae dyn yn dyfod yn feddiannol arno eisoes yn yr enaid er pan grëwyd ef, ond ei fod mewn ystâd o gysgadrwydd nes y deffroir ef gan amgylchiadau, neu ynte ai rhyw gyfaddasder sydd yn yr enaid i dderbyn argraffiadau, a'r argraffiadau hyny wrth eu mynychu yn myned yn ddyfnach bob tro nes o'r diwedd ffurfio yn syniadau?

Tua'r adeg yr wyf yn ceisio myned yn ol ati, yr wyf yn meddwl mai oddeutu chwe' mlwydd oed oeddwn, a bod Bob fy mrawd oddeutu deunaw oed. Yr oedd Bob, fel y tybiwn i, yn ddyn mawr cryf; a digon o brawf o hyny i mi oedd ei fod yn gallu fy nghario ar ei gefn yn ddidrafferth. Gweithiai yn y glo, ac nis edmygodd neb erioed ei frawd yn fwy nag a wnawn i Bob, pan ddeuai adref yn ei glocsiau, â'i lamp yn ei law a'i wyneb cân ddued a'r simdde. Cyn y pryd hwn yr wyf yn tybied nad oeddwn wedi meddwl o ba le yr oedd fy mam a Bob a minnau yn cael ein cynnaliaeth. Pa fodd bynag, yn y cyfnod hwn, neu ynte yn fuan ar ol hyn, daethum i ddeall nad oedd dim o bethau da y byd hwn i'w cael heb brês—gwirionedd yr wyf, er fy ngofid, wedi ei brofi filoedd o weithiau ar ol hyny. Dichon mai y moddion trwy ba un y daethum i ddeall hyn oedd fy ngwaith yn gofyn yn feunyddiol i fy mam am y peth yma a'r peth arall, a'i gwaith hithau yn ateb nad oedd ganddi brês i'w geisio. Yr wyf yn cofio y byddai rhyw ddyddordeb mawr i mi ynglŷn â'r adeg y byddai Bob yn dwyn ei gyflog gartref. Eisteddem ein tri o gylch y tân tra y gwaghâi Bob ei boced i ffedog fy mam. Cyfrifai fy mam y cyflog lawer gwaith drosodd. Ystyriwn fod swm yr arian yn fawr iawn, a methwn a deall yn glir pa fodd yr oedd fy mam yn dyweyd nad oedd ganddi brês, a hithau yn derbyn cymaint gan Bob. Sylwn y byddai fy mam wrth gyfrif yr arian ar rai adegau yn edrych yn llawen, ac ar adegau eraill yn brudd iawn;

a phob amser ar ol ei cyfrif edrychai yn synfyfyriol. Dychymygwn mai synu y byddai hi fod ganddi gymaint o arian. Druan oeddwn! Beth pe buaswn yn gwybod mai dyfeisio a phendroni y byddai hi pa fodd i'w rhoi allan, pa fodd i allu talu i bawb gyda'r ychydig sylltau oedd-ynt yn ei ffedog! Wrth i mi daflu fy meddwl yn ol, a chofio pa faint oedd swm cyflog Bob,—y fath *chancellor of the exchequer* raid fod fy hen fam! Yr wyf yn cofio yn dda y byddai fy mam a Bob, ar ol cyfrif yr arian, yn siarad cryn lawer yn gyfrinachol, ac mewn iaith nad oedd-wn i yn ei deall, oddigerth y geiriau "rhent," a "*shop*." Rywbryd yn y cyf-nod hwn daethum i edrych ymlaen at ddiwrnod y cyflog gydag awch, oblegid byddai fy mam, ar ol cael y prês, yn myn-ed i'r *shop* i nôl bwyd; ac am un diwrnod, fodd bynag, byddai genym gyflawnder o ymborth. Cân lleied o bobl, fel mae'r goreu, sydd wedi profi y dirfawr bleser o gael cyflawnder o ymborth! Yr wyf yn meddwl nad ŵyr neb am y pleser hwnw ond y rhai, fel fy hunan, sydd yn gwybod beth ydyw bod yn brin o luniaeth. Prin a ddywedais? Ië, bod heb ddim! ond bydd raid i mi gyfeirio at hyny eto.

Fel yr awgrymais yn barod, yr oedd Wil Bryan a minnau yn gyfeillion mawr, ac nis gallaf beidio cysylltu gydag ef greadigaeth neu gynhyrfiad meddyliau a syniadau yn fy enaid. Mae y côf yn fyw ynof fel y byddwn yn cenfigenu at Wil Bryan. Cadwai ei dad *shop* fawr, fel y tyb-iwn i, yn yr hon yr oedd cyflawnder o bob-peth. Yr oedd Wil yn cael tatws a chig i'w ginio bob dydd, a minnau yn cael browes Yr oedd Wil yn cael dillad newydd yn fynych, tra mai hen ddillad Bob fy mrawd, wedi eu hailwneyd gan fy mam, a gawn i fyth a hefyd. Yr oedd Wil yn cael ceiniog bob dydd Sadwrn, tra nad oeddwn i byth yn gweled un ond pan waghâi Bob ei boced i ffedog fy mam. Ond yr hyn a barai i mi edrych ar Wil fel y bachgen dedwyddaf ar y ddaear oedd, y ffaith fod ganddo ful bach byw! Yr adeg hono nid oeddwn yn gwy-bod am ddim yn y byd mawr llydan y buaswn yn ei ddymuno yn fwy na chael mul bach yr un fath ag un Wil Bryan. Nid myfi oedd yr unig un a edmygai sefyllfa hapus Wil: yr oedd yn deimlad cyffredinol ymhlith fy nghyfoedion. Ac nid oedd Wil ei hun yn anymwybodol o'i uchafiaeth arnom oll; oblegid os byddai rhai o honom wedi troseddu yn ei erbyn, y gosbedigaeth drymaf oedd yn bosibl ei gweinyddu a fyddai, nad oeddem i gael dyfod yn agos at y mul bach, yr hyn fel rheol a'n dygai yn union deg yn edifeiriol wrth ei draed. Mewn gair, yr oedd Wil, yn rhinwedd ei ful bach, yn ein gorthrymu yn enbyd; yn gymaint felly fel y darfu iddo (yr wyf yn cofio yr adeg yn dda) yn un o'n cyfarfyddiadau, pan oedd un o honom yn crwydro oddiwrth y pwnc—y darfu iddo meddaf, roddi gorchymyn allan nad oedd un o honom, heb ei ganiatâd ef, i sôn gair am ddim oll ond am y mul bach, ac nid oedd genym ninnau ddim i'w wneyd ond ymostwng yn dawel i'r gorchymyn. Wrth i mi adfyfyrio, gynifer o bobl mewn oed ac ymhob sefyllfa yr wyf wedi dyfod i gysylltiad â hwynt yn ystod fy oes sydd yn gwneyd *capital* o'u mulod bychain!

Wel, ni fuaswn yn sôn am hyn oni buasai fod mul bach Wil Bryan wedi bod yn achlysur i gynhyrfu neu ynte i greu ymofyniad yn fy enaid. Yr wyf yn cofio fy mod un tro yn synfyfyrio ar, ac yn cen-figenu at sefyllfa hapus a manteision gor-uchel Wil rhagor yr eiddof fi, a fy mod yn ceisio rhoddi cyfrif i mi fy hun am y gwa-haniaeth, pryd y daethum i'r penderfyniad mai yr unig reswm ydoedd hwn,—fod gan Wil dad tra nad oedd genyf fi yr un. Paham yr oeddwn i heb dad? Pan ofyn-ais y cwestiwn i fy mam, edrychodd yn gynhyrfus, a neidiodd y dagrau i'w llyg-aid; ond nid atebodd hi air, a cheisiodd droi fy sylw at rywbeth arall. Gwasgais innau y cwestiwn ati drachefn, a gofynais ai wedi marw yr oedd fy nhad. "Ië," ebe hi, "mae dy dad di, 'y ngwas gwirion i, yn farw mewn camwedd a phechod." Byddai fy mam yn gyffredin yn siarad mewn ieithwedd ysgrythyrol. Nid oedd-wn yn deall yr ymadrodd; ond cymerais ef i arwyddo fod fy nhad wedi ei osod yn y "twll du," fel y galwn i y bedd yr adeg hono. Parodd y syniad dristwch mawr i mi ar y pryd; ond aeth heibio yn fuan.

Toc ar ol hyn—nis gallaf fod yn fanwl i ychydig fisoedd—yr wyf yn cofio fod fy mam wedi bod yn y *shop;* oblegid noswaith y cyflog ydoedd, a'n bod new-ydd orphen swper da. Eisteddem ein tri o gylch y tân, a theimlwn i yn hapus iawn, gan nad pa fodd y teimlai fy mam a Bob. Byddai fy mam yn caniatâu i mi gael aros i fyny awr neu ddwy yn hwyrach ar y noswaith y byddai Bob yn derbyn ei gyflog. Nis gallaf yn awr gyfleu mewn geiriau y dirfawr foddhâd a hapus-rwydd yr oedd cael aros i fyny yn hwyr yn ei fforddio i mi. Wrth feddwl cân lleied peth oedd yn rhoddi i mi y fath ddedwyddwch pan oeddwn fachgen, bydd-af yn gofidio yn fy nghalon na fuasai yn bosibl i mi aros yn fachgen byth. Eis-teddem ein tri o amgylch y tân, meddaf; y gauaf oedd hi, ac yr oedd y noswaith yn oer ac ystormus Eisteddwn i ar fy ystôl fach, gan wrando ar y gwynt yn rhuo yn y simdde, ac yn chwibanu yn nhwll y clo. Teimlwn yn gysgadlyd iawn,

ond gwnawn ymdrech egnïol i beidio cau fy llygaid rhag i fy mam fy anfon i'r gwely, a rhag i mi fforffedio cael aros i fyny yn hwyr noswaith y cyflog canlynol. Pan oeddwn bron a chael fy ngorchfygu gan gwsg, clywn rywun yn curo y drws, yr hyn a'm gwnaeth yn effro iawn. Cyn i neb gael amser i agor, daeth i mewn ddyn anolygus, a chauodd y drws ar ei ol, a cherddodd yn sŷth at y tân heb ddyweyd gair. Càn gynted ag y gwelais ef, penderfynais yn fy meddwl mai dyn drwg ydoedd. Yr oedd yn fudr a charpiog, a llanwodd y tŷ o arogl annymunol. Hyd yn nôd pan glywais ef yn siarad Cymraeg, yr oeddwn yn sicr yn fy meddwl mai Gwyddel ydoedd. Yr adeg hono, tybiwn mai Gwyddel oedd pob un a fyddai yn fudr a charpiog. Pan ddaeth efe i'r tŷ, neidiodd Bob ar ei draed, a'i wyneb càn wyneb a'r galchen, a chrynai drwyddo. Gwyddwn ar osgo Bob ei fod am goleru y dyn a'i droi allan; gwaith a fedrai yn hawdd, oblegid nid oedd y dyn ond eiddil a gwanaidd, tra yr oedd Bob yn grwmffast cryf a chrwn. Deallodd fy mam ei fwriad, a chrefodd yn grynedig arno i ymattal.

Yn fy meddwl, ni welswn neb erioed càn hylled, taiog, a brwnt yr olwg ag ydoedd y dyeithrddyn, a synwn at ei hyfdra yn dyfod felly i'n tŷ ni. Ni welais fy mam erioed wedi cynhyrfu yn gymaint, ac yn y fath drafferth i lywodraethu ei hun, tra y dywedai rywbeth i'r perwyl canlynol, "James, yr wyf wedi dyweyd wrthych lawer gwaith nad ydych i ddyfod yma; nid oes arnaf eisieu eich gweled byth." Ni chymerai y dyeithryn arno ei chlywed, ond yn hytrach ceisiai wneyd ffrynd o honof fi, gan siarad yn dyner wrthyf, a chan fy ngalw wrth fy enw. Synwn yn fawr sut yr oedd efe yn gwybod fy enw, a chiliwn oddiwrtho fel oddiwrth sarph. O'r diwedd cymerodd afael ynof, gan geisio fy ngosod ar ei lin, ac aethum innau yn nwydwyllt; a chyda fy nhwrn bychan tarewais ef fy ngoreu yn nghanol ei wyneb, ac ar yr un pryd tynodd Bob fi o'i afaelion. Gofynodd fy mam iddo drachefn fyned ymaith; ond nid äi efe, a chododd Bob eilwaith ar ei draed ar fedr ei fwrw ef allan trwy drais; ond attaliwyd ef eto gan fy mam. Teimlwn yn ddig enbyd wrthi am rwystro Bob ei fwrw ef allan. Gofynodd y "Gwyddel," fel y galwn ef, am ymborth; a synais weled fy mam yn gosod lluniaeth o'i flaen. Bwytäodd swm digydwybod, a thybiwn unwaith nad oedd yn meddwl rhoi heibio. Gwarafunwn bob tamaid iddo, a gwyddwn fod Bob o'r un meddwl; oblegid eisteddwn ar ei lin, a theimlwn ei liniau yn crynu yn barhâus gan digofaint.

Wedi i'r "Gwyddel" orphen bwyta, closiodd at y tân yn hamddenol, fel pe buasai ar fedr aros trwy y nos. Erfyniodd fy mam arno wed'yn fyned ymaith; ond nid äi efe heb gael arian. Er fy mawr syndod, gwelwn fy mam yn estyn swm o arian iddo. Parodd hyn i Bob fyned i dymher ddrwg; a chof genyf ei fod yn dyweyd yn ddigofus fod fy mam wedi ynfydu, ac nad äi efe byth i'r glo i chwysu a baeddu os oedd am roddi ei ennillion caled i *scamp* meddw lladronllyd. Teimlwn ninnau yn ddigllawn fod fy mam wedi rhoddi i'r "Gwyddel" fwy o arian nag a fuasai yn anghenrheidiol i brynu mul bach byw yr un fath ag un Wil Bryan. Ar yr un pryd, er mor ieuanc oeddwn, cydymdeimlwn yn fawr â fy mam; oblegid yr oedd argraff ar fy meddwl fod gan y dyeithryn ryw ddylanwad dirgelaidd arni, ac nad oedd ganddi mo'r help am yr hyn a wnelai. Nid oedd tymher ddrwg Bob yn effeithio dim ar y "Gwyddel." Wedi iddo gael yr arian, ymddangosai yn fwy penderfynol i aros. Taniodd ei getyn, a dechreuodd ddattod careïau ei esgidiau.

Wrth weled hyn collodd Bob bob amynedd; neidiodd ar ei draed, agorodd y drws yn llydan agored, gafaelodd yn ngwàr y "Gwyddel," a thaflodd ef i'r heol fel burgyn, a bariodd y drws. Oddeutu chwarter mynyd a gymerodd i Bob i fyned trwy y gwaith hwn; a churais innau fy nwylaw mewn llawenydd, nes y gwelais fod fy mam yn llesmeirio. Tybiais ei bod yn marw, ac yr oeddwn bron a gwallgofi gan ofid. Pa fodd bynag, wedi i Bob gymhwyso dwfr oer at ei hwyneb, dadebrodd, a dechreuodd wylo; a chydunwyd â hi yn hyn o orchwyl gan Bob a minnau am spèl. Wedi ymdawelu, ymgomiodd fy mam â Bob yn gyfrinachol; ond deallwn yn burion mai y "Gwyddel" oedd y testun, yr hwn a alwent "y fo." Er holi ac ymofyn yn daer gyda fy mam a Bob, methais yn hollol gael gwybod pwy oedd y dyeithryn. Yr unig ateb a gawn oedd, mai dyn drwg ydoedd, ac am i ni beidio son am dano wrth neb.

Wel, da i mi a fuasai pe nas cawswn fwy o wybodaeth yn ei gylch mewn amser dilynol. Ond nid felly y gwelodd rhaglunIaeth yn oreu. Onid y "Gwyddel" sydd wedi chwerwi fy holl oes? Onid efe sydd wedi rhoddi wermod yn fy nghwpanau melusaf? Mor wahanol a fuasai fy hanes pe na buasai am dano ef! Pan dybiai fy nghyfeillion fy mod yn hapus a dedwydd, byddai efe fel fy ysbryd drwg yn diflasu pob mwyniant yn fy mynwes, ac fel hunllef arnaf pan ddylaswn fod yn gorphwyso.

---

# Darlleniadau Detholedig.

BETH YW GWIR FAWREDD.

Y PETH y mae Duw yn ei ystyried yn wir fawredd yn ei weision, ac a gyfodir i fyny gan yr Arglwydd Iesu yn nammeg y talentau i sylw y byd fel y prif fawredd i gyrchu ato yw, ffyddlondeb. "Da, was da a ffyddlawn." Nid yw yr hwn a fyddo wedi ei gyfoethogi â'r nifer lïosocaf o dalentau, gwreiddioldeb meddyliau, hyawdledd doniau, a chyffelyb i'r rhai hyn, ddim yn fwy mawr yn ngolwg Duw, na phe byddai hebddynt. Nid yw Duw yn cyfrif neb yn fawr ond a fyddo wedi ei wisgo â mawreddigrwydd moesol. Y mae dymuniad am fod yn fawr yn beth cyffredinol yn holl ddynolryw, ac yn cyrhaedd pob graddau a sefyllfa o ddynion. Y mae'r gallu moesol hwn, sef y dymuniad am fod yn fawr, fel agerdd angerddol yn gwthio y peiriant dynol yn y blaen i ryw gyfeiriad—ar y gŵyr neu ar yr uniawn. O dan ddylanwad y gallu angerddol hwn y gwnaed breninoedd ac ymherawdwyr y byd yn fath o beiriannau dinystriol, yn fwrddrwyr cenedlaethau, yn ddiaffiaid mewn cnawd, ac yn felldith yr holl ddaear. Er mwyn rhoddi attalfa ar y fath drueni a ddygwyd i mewn i blith dynion trwy ddylanwad yr egwyddor hon, disgynodd yr Arglwydd Iesu i barthau isaf y ddaear, i gyfodi arwyddion *(signals)* i fyny ar nodi y rheilffordd, a'r unig ffordd, i brifddinas mawredd, yr hon oedd yn gorwedd draw ymhell tu hwnt i wybodaeth y byd syrthiedig. Yr oedd dadguddio y dirgelwch hwn yn profi Dwyfoldeb ei anfoniad, ac yn gosod gwerth annhraethol ar ei ddysgeidiaeth i fyd oedd wedi myned ar gyfeiliorn. Dan ddylanwad yr egwyddor hon yr oedd meibion Zebedeus a'u mham yn myned yn chwyrn, pan aethant at yr Arglwydd Iesu mewn ymofyniad am fawredd gau: "Cael o'm dau fab eistedd, un ar y llaw ddehau a'r llall ar yr aswy yn dy freniniaeth." Dangosir yn yr amgylchiad hwn y syniad cyfeiliornus sydd yn y byd ynghylch beth ydyw bod yn fawr, sef eistedd mewn awdurdod ac uchafiaeth uwchlaw eraill. Ac y mae yr Arglwydd Iesu yn eu hargyhoeddi, gan ddangos, nid iddynt hwy yn unig, ond hefyd i'r byd, beth yw bod yn fawr mewn gwirionedd. "Ni wyddoch chwi beth yr ydych yn ei ofyn. A ellwch chwi yfed o'r cwpan yr ydwyf fi ar yfed o hono, a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi?" Fel pe dywedasai yr Iesu, Nid amgylchiadau allanol, megys swyddau uchel, coronau a theitlau, a wnant gyfansoddi gwir fawredd. Os ydych am fod yn fawr, rhaid i chwi rodio'r llwybr yr wyf fi yn ei rodio. "A'r Iesu a'u galwodd hwynt ato, ac a ddywedodd, Chwi a wyddoch fod penaethiaid y cenedloedd yn tra-arglwyddiaethu arnynt, a'r rhai mawrion yn tra-awdurdodi arnynt hwy. Eithr nid felly y bydd yn eich plith chwi; ond pwy bynag a fyno fod yn fawr yn eich plith chwi, bydded yn weinidog i chwi; a phwy bynag a fyno fod yn benaf yn eich plith, bydded yn was i chwi." Fel pe dywedasai, Yn ymherodraethau'r byd, y mae dynion yn cael eu hystyried yn fawr yn ol y llïaws fyddo yn ymostwng i'w hawdurdod, yn rhwym i'w hewyllys, ac yn gweini i'w hanghenion. Yma y mae yr Arglwydd Iesu yn tori i lawr y mawredd hwn, a ystyrir gan y byd yn fawr, ac yn dangos nad yw gwir fawredd i gael ei fesur wrth nifer y llïaws a fo yn ein gwasanaethu ni, ond wrth nifer y llïaws a fyddom ni yn eu gwasanaethu—nid yn ol cymaint a dderbyniwn oddiwrth eraill, ond yn ol cymaint a fyddwn yn ei roddi i eraill—nid yn ol maint defnyddioldeb y byd i ni, ond ol maint ein defnyddioldeb ni i'r byd; ac Efe a ddywed, "Ni ddaeth Mab y dyn i'w wasanaethu, ond i wasanaethu, ac i roddi ei einioes yn bridwerth dros lawer." Bod yn fawr, gan hyny, yw bod wedi ein gwisgo â mawreddigrwydd moesol y Cyfryngwr, neu feddu ar yr egwyddor hono i ddyfod allan o honom ein hunain yn fyw i ogoniant Duw a lles eraill, er gorfod yfed cwpaneidiau chwerwon ar y ffordd, a'n bedyddio â dyoddefiadau. Mae yr hanes pwysig hwn wedi ei osod i lawr yn yr efengyl i fod yn glorian fawr i'r byd, er mantais iddynt bwyso a gwahaniaethu y gwir oddiwrth y gau. A phan osodir y pethau a ystyrir yn fawr gan ddynion yn y glorian hon, ysgafnach ydynt hwy i gyd na gwegi. Yr unig fawredd a ddeil ei bwyso yn ei hwyneb yw bod yn was da a ffyddlawn—gwasanaethu eraill mewn ufudd-dod i Dduw, pa un bynag ai pump, ai dwy, ai un, fyddo nifer y talentau. Iaith gwir fawredd ydyw, "Nid oes yr un o honom yn byw iddo ei hun, ac nid yw yr un yn marw iddo ei hun; canys pa un bynag yr ydym ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw. Am hyny, pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym."

Er i'r rhyfelwr hunanol ei uchelgais am fawredd ac enwogrwydd anturio ei fywyd, a threulio allan ei nerth mewn llafur a lludded, ennill buddugoliaethau mawrion, darostwng ymherodraethau i'r llwch, a throchi cyfandiroedd mewn gwaed, a chael gan y byd wedi hyny gyhoeddi ei glod, a chyfodi cofgolofnau er ei anrhydedd, nid yw hyn oll yn chwanegu un cufydd at ei faintioli; nis gellir dywedyd ei fod yn fawr wedi y cwbl. Ni wna dyben isel byth ddyn mawr. Dyn gwael yw hwnw sydd yn gosod ei *interest* ei hun yn ganolbwynt i'w holl weithrediadau. Ysbryd anhunangar yw enaid gwir fawredd. Nis gellir cyfrif hono yn llestr fawr sydd yn llwytho ac yn dadlwytho yn ei gwlad ei hun, heb fyned byth o olwg y tir. Ond fe ellir cyfrif yr un acw yn llong fawr, sydd yn gadael ei gwlad ei hun, yn *entro* dros fâr hunanoldeb, ac yn lledu ei hwyliau ar eang foroedd anhunangarwch, gyda'r faner hon yn chware ar ben ei hwyliau, "Heb geisio fy llesâd fy hun, ond llesâd llaweroedd." Bywyd wedi ei gysegru a'i dreulio allan yn ngwasanaeth Duw, a wna i holl foneddigion yr *universe* dywallt y corn olew ar ei ben; ac fe wna pob cydwybod dynion pan ymddangoso y fath gymeriad ge

eu bron, ei gipio a'i wneuthur yn frenin; canys y mae cydwybod yn cydnabod mawreddigrwydd y cymeriad, ac yn ei gydnabod uwchlaw pob peth a elwir yn fawr. Ac y mae'r cymeriad hwn mor uchel yn meddwl Duw fel y gesyd udgorn y farn i ddadseinio ei glod: "Da, was da a ffyddlawn." Mae rhai wedi gwneuthur math o ysbienddrych—*telescope*—i syllu ar y *gallery* sydd uwch ein pen, er mwyn enw. Galwant y bydoedd ar eu henwau eu hunain, ac fe'u gelwir hwynt ar eu henwau trwy holl oesoedd y byd. Ond mi welaf ddiwrnod pan y bydd yr hen *fonument* yn cwympo, y sêr yn syrthio, yr hen *gallery* yn cael ei thaflu i lawr, nerthoedd y nefoedd yn cael eu hysgwyd, a'u henwogrwydd a'u mawreddigrwydd yn cael eu claddu yn adfeilion y greadigaeth. Ond fe fydd oes o ffyddlondeb ar faes crefydd yn ymddangos yn fawr ac yn enwog y diwrnod hwnw. Ië, un o'r pethau nid ysgydwir ydyw. "Enw tragywyddol, yr hwn ni thorir ymaith." Pa faint bynag o rwysgfawredd a all fod yn perthyn i'n teml grefyddol, ffyddlondeb ydyw ei *shechina*. Yr egwyddor hon yn gorseddu yn sancteiddiolaf y galon sydd yn rhoddi mawredd ac yn adlewyrchu gogoniant ar y cwbl, hyd yn nôd yn ngolwg Duw ei hun. "Moses yn wir a fu ffyddlawn yn ei holl dŷ megys gwas." Beth? Moses yn wir a ddygwyd i fyny yn holl ddysgeidiaeth yr Aipht, a wnaethpwyd yn ben i'r genedl, ac a alwyd i'r mynydd i dderbyn y gyfraith o law Duw ar ben Sinai! Ië! Moses yn wir a gynnysgaeddwyd â gallu gwyrthiol i chware hen glychau'r gwyrthiau yn nen hen *gathedral* yr oruchwyliaeth hono, nes yr oeddent yn dyrysu swynwyr yr Aipht, a'u hadsain i'w clywed draw ymhell nes synu gwledydd y cenedloedd o'u hamgylch! Na! nid yw yn ymddangos fod yr un pwys neillduol yn cael ei roddi ar yr holl rwysgfawredd hwnw; ond y mae'r pwys yn cael ei osod ar ei ffyddlondeb fel gwas: "Moses yn wir a fu ffyddlawn yn ei holl dŷ megys gwas." Y mae cloch auraidd ffyddlondeb yn cael ei chware gan yr Ysbryd Glân yn nen yr eglwys efengylaidd, fel y mae ei sain peraidd yn dadseinio cyfuwch nes rhwymo tafodau a *pharalyzo* hen glychau y gwyrthiau â bloesgni tragywyddol; a hwy, ynghyd a phob rhwysgfawredd arall, a fyddant yn fud yn nydd y farn. "Oni phrophwydasom yn dy enw di? ac oni fwriasom allan gythreuliaid yn dy enw di? ac oni wnaethom wyrthiau lawer yn dy enw di? Ac yna yr addefaf wrthynt, Nis adnabûm chwi erioed; ewch ymaith oddiwrthyf, chwi weithredwyr anwiredd."—*Thomas John, Cilgerran.*

## DIWYDRWYDD GYDA CHREFYDD.

Pwy ond y diwyd sydd yn myned yn ysgolaig, neu yn gelfyddwr, neu yn hwsmon cywraint? Ac nid â neb yn gristion da ond a ymgynnefino âg arferion duwiol yn wastadol. Am hyny y gofynir ganddo lafurio fel hwsmon, a dyoddef ymdrech fel milwr, ac ymegnio a bod yn dymherus fel rhedegwr. Rhaid ceibio at y mwn gwerthfawr o gysur ysbrydol drwy'r rhwystr caletaf, a dal y llaw a'r llygad ar yr aradr yn ofalus, os mynir myned i deyrnas Dduw; ac onidê anrheithir y gwaith, a malcir y fuchedd. "Enaid y diog a ddeisyf, ac ni chaiff ddim; ond enaid y diwyd," mewn dyledswyddau grasol, "a wneir yn fras." "Goddef gystudd, megys milwr da i Iesu Grist." Gorfydd i filwr yn fynych ymfoddloni i fod mewn peryglon, a gwyliadwriaethau, a phrinder, ac oerni, a briwiau, cyn cael y fuddugoliaeth. Ac os myni ennill y gamp yn yr yrfa efengylaidd, cynhyrfa dy holl allu ysbrydol a chorfforol, ac ymgadw ymhob peth oddiwrth bob maswedd a'th wanycho, ac oddiwrth bob gormodedd a'th drymhao, fel y caffoch afael ar y faeler, ac y derbyniech y goron anllygredig. Cynhyrfiad a gwaith sydd fuddiol i'r bywyd hwn, a'r llall hefyd. Y dwfr rhedegog sydd loewaf, a'r awyr wyntog sydd iachaf, a'r cristion bywiog sydd ysbrydolaf. Nid all neb gerdded dwy ffordd wrthwynebus i'w gilydd ar unwaith. Yr hwn a fyddo yn myned rhagddo yn egnïol mewn daioni, nid â yn ol i'r drwg.—*Charles Edwards (Y Ffydd Ddiffuant)*, 1677.

## GOFAL Y CREAWDWR AM EI GREADURIAID.

I Dduw nid yw'r ddaear, er ei holl olndoedd a'i rhyfeddodau, ond "lleithig ei draed." Y lleithig, neu yr ystoldroed, yw y dodrefnyn lleiaf yn y tŷ; a dyna yw y ddaear fawr i'r Duw anfeidrol. Y bobl yn son am wneyd tŷ ardderchog iddo ef, gyda phinaclau a thyrau addurnol er tynu ei sylw! Mae y drychfeddwl yn ddirmygus, a'r Anfeidrol, heb gymeryd arno eu gweled, yn gofyn, "Mae y tŷ a adeiledwch i mi?" Ei dŷ ef yw y bydysawd mawr, ac yntau fel Penteulu yn edrych ar ol y cwbl, yn eistedd megys wrth ben y bwrdd, gyda'r nef yn orseddfainc, a'r ddaear yn droedfainc i'w draed, i edrych ar ol y myrdd o amrywiaethau o greaduriaid a gyfansoddant ei deulu mawr. Gormod o waith i lawer yw cadw rhywfath o dŷ; gormod o *rent* fyddai cadw tipyn o fwg main yn ngwahanol simneiau tŷ gweddol fawr, heb son am ddarpar ar gyfer y teulu. Ond y fath dŷ a theulu sydd gan Dduw! ac mor rhwydd y mae efe yn eu cadw! "Agori dy law, a diwelli hwynt â daioni." Mae digon o amrywiaeth yn ei ddarpariadau ar gyfer holl amrywiaeth yr anghenion. Nid yr un peth a wna'r tro i'r ych ag i'r llew; ond y mae efe yn gofalu am ei fwyd priodol i bob un. Ac mor gyfoethog ydyw fel y mae yn gwlawio ar yr anialwch, ac ar y môr. "I ba beth y mae yn gwlawio ar y môr?" meddwch chwi; "nid oes eisieu gwlaw ar y môr." Wel, cilied y môr oddiar y ffordd, ynte; rhaid i'r nefoedd gael tywallt ei bendithion. Ac O mor bur a glân yw yr holl fendithion ar ei fwrdd mawr ef! Mor lân yw'r gwlaw pan yn dyfod allan o law ei Dad, ac mor ddysgleirwyn yw yr eira pan yn dyfod i lawr o'r nefoedd! Yn hen ffyrdd a chwterydd y ddaear y mae'r bendithion yn cael eu llwydo a'u baeddu.—*Robert Ellis (Cynddelw).*

### RHESWM DYN A THREFN GRAS.

Y MAE dosbarth o bobl yn gwrthod trefn yr efengyl am nas gallant ei hamgyffred—am fod dirgelwch yn perthyn iddi. Y mae'r dosbarth hwn yn ei gwrthod o herwydd un o'r rhesymau cryfaf sydd o blaid ei derbyn. Os Duw yw ei Hawdwr, mae yn rhaid dysgwyl dirgelwch ynddi—pethau tu hwnt i'n deall ni—fel pob peth o waith Duw. Edrychwn am fynyd, yn ngoleuni rheswm, beth yw gallu rheswm, a pha beth yw ei swydd. Dywed dynion galluog fod ein gwybodaeth naturiol yn deillio yn benaf, nid trwy reswm, ond o ffynnonellau eraill. Y mae ein gwybodaeth am unrhyw wrthddrych yn dyfod yn gyntaf drwy ein synwyrau naturiol, megys maint, lliw, a llun unrhyw wrthddrych trwy y synwyr o weled. Yna daw rheswm i mewn; a'i waith ef ydyw ymafiyd mewn cadwen o ymresymiad, a chysylltu dwy, neu ychwaneg, o ffeithiau â'u gilydd, a thrwy hyny ennill rhyw wybodaeth newydd nad oedd yn y profiad yn flaenorol. Felly gwaith rheswm yw llenwi y diffygion neu y gwagleoedd sydd yn ein profiad. Meddylier am Bont Britannia. Yr oedd yna amryw *bilars*, neu dyrau, wedi eu codi ar draws yr afon o'r naill ochr i'r llall cyn codi y *tubes*; ac wedi codi'r *tubes* o'r naill *bilar* i'r llall, dyna yr adwyon, y cyfyngau, yn cael eu llanw; ac y mae yna yn awr un bont gyfan, ddifwlch, o'r naill ochr i'r llall. Gwaith ffol a fuasai ceisio codi'r *tubes* i fyny cyn cael y tyrau yno yn gyntaf; a gwaith ffolach na hyny a fuasai meddwl am godi *tubes* yno pe buasai y tyrau i gyd yn cyffwrdd â'u gilydd yn rhyw un *cob* o'r naill ochr i'r llall. Beth yw swydd rheswm? Codi'r bont i fyny o'r naill wirionedd yn ein profiad i wirionedd arall—o'r naill ffaith i ffaith arall; llenwi yr adwyon yna sydd yn ein profiad. Cyn i ryw wirioneddau gyrhaedd ein profiad ryw ffordd neu gilydd, gwaith ffol yw dysgwyl i reswm wneyd dim; a gwaith ffolach na hyny yw dysgwyl i reswm weithredu os na bydd rhyw wagleoedd yn ein profiad. Pe buasem ni yn gallu profi pob peth—gweled, teimlo, a *graspio* pob peth—ni buasai gan reswm felly ddim i'w wneyd; buasai ymwybyddiaeth wedi cymeryd lle rheswm. Os dyna waith rheswm yn y byd naturiol, nis gall eto ond gweithredu yr un fath yn y byd moesol. Os rhaid cael synwyr naturiol, mae yn rhaid cael eto synwyr moesol; ac os rhaid i'r synwyr naturiol weithredu yn gyntaf, mae yn rhaid i'r synwyr moesol hefyd gymeryd y blaen. Os rhaid fod rhyw wirioneddau wedi cyrhaedd ein profiad naturiol, fel rhyw *bilars*, cyn y gall rheswm roi ei droed i lawr, mae yn rhaid hefyd fod rhyw wirioneddau wedi cyrhaedd ein profiad yn y byd moesol cyn y gall rheswm fyned yno. At y synwyrau moesol hyn y cyfeiria yr apostol pan ddywed, "Y mae ganddynt synwyr wedi ymarfer i ddosbarthu drwg a da." Gan bwy? Gan "y rhai perffaith." Felly, cyn y caiff dyn foddio ei gywreingarwch drwy daflu llinyn ei reswm egwan ar ddyfnion bethau Duw yn nhrefn gras, rhaid iddo weled, teimlo, a phrofi ei fendithion yn gyntaf.—*David Jones (Dewi Arfon), Clynnog.*

### YMADRODDION Y DOETHION.

RHAID cael nefoedd i'r enaid yn y byd hwn cyn yr elo yr enaid i'r nefoedd yn y byd arall. "Teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae."

Bywyd ar y ddaear sydd lyfr na chawn ond un argraffiad o hono; ac y mae pob diwrnod yn estyn dalen at y llyfr. Byddwn ofalus am i'r cyfan a ysgrifenir genym ynddo fod yn gyfryw na fydd ei ddarlleniad o flaen tyrfa aneirif y dydd mawr diweddaf yn peri i ni gywilyddio.

Mae y duwiol i fyw ar y ddaear cyhŷd âg y byddo gan Dduw ryw waith i'w wneyd ganddo, neu waith i'w wneyd arno ac ynddo.

Dylid bod yn benderfynol i beidio derbyn enllib yn gystal ag i beidio adrodd enllib. Os nad allwn gau geneuau pobl eraill, gallwn gau ein clustiau ein hunain. Mae'r carnlleidr—efe sydd yn derbyn eiddo lladrad, mor ddrwg â'r lleidr ei hun.

Cyfrinach pob llwyddiant yw bod yn fedrus mewn ymarfer hunanymwadiad. Heb i ni ddysgu ein llywodraethu ein hunain, mae pob addysg arall yn ddiwerth.

Po fwyaf gonest y byddo dyn, lleiaf y dengys ddim tebyg i wyneb rhithsanctaidd.

Y mae genym Fibl am fod genym Dduw; ac nid oes genym ond un Bibl am nad oes genym ond un Duw.

Yr ydym yn fynych yn colli y cysur sydd i'w gael oddiwrth bethau gwerthfawr yn ein meddiant wrth ymlid ar ol pethau allan o'n cyrhaedd.

Nid yw'r neb sydd yn awyddus am i bobl feddwl ei fod yn gall, yn debyg o ennill nemawr gallineb; o herwydd mwy yw ei ddymuniad ef am i'r byd weled hyny o wybodaeth sydd ganddo nag i gasglu'r wybodaeth sydd yn eisieu arno.

I glaf a lleeg y mae gwyneb siriol yn llawn mor lesäol â hin hyfryd.

Hawdd iawn yw i ddyn gyffesu beiau pobl eraill.

Ceir hen wirioneddau yr Ysgrythyr yn wastad yn newydd gan bawb sydd yn hoffi perarogl y nefoedd.

Nis gall dyn fwynhâu barddoniaeth yn unlle, neu am unpeth, os na bydd rhywfaint o farddoniaeth ynddo ef ei hun.

Gwersi ymarferol o'r fath oreu i blant yw eu dysgu i wasanaethu arnynt eu hunain, bod yn barod i gynnorthwyo eraill, a dyoddef pob caledi gyda chân lleied o drŵst ag y byddo bosibl.

Mae esgusodion fel clytiau a roddir ar rwygiadau mewn dilledyn; y clwt yn fynych yn edrych yn fwy anolygus na'r rhwyg ei hun.

Pan nas gallwn fyned i dŷ yr Arglwydd, ni a allwn fyned at Arglwydd y tŷ.

Gobeithiwn y goreu, a pharotown erbyn y gwaethaf, ac yna cymerwn yr hyn a roddo Duw.

Mae'r pechadur sydd yn byw heb ofn ar y ffordd i farw heb obaith.

Mae yn hyfryd credu, meddwl a myfyrio am y Duw mawr, er nas gallwn ei amgyffred.

Mae y pryfyn sydd o dan ein traed yn fyd o ryfeddodau ynddo ei hunan.

# Barddoniaeth.

## PRESEB BETHLEHEM.

O breseb diaddurn, paham y'th gyfodwyd
Uwchlaw holl bresebau Judea yn ben?
Pa fodd, o ymborthle 'r anifail, y'th wnaethpwyd
Yn gryd i Greawdwr y ddaear a'r nen?
O'th isel sefyllfa ti gefaist anrhydedd,
Trwy dderbyn i'th fynwes y Mab a'r Etifedd,
A'r Hwn a wareda y byd o'i ddwfn lygredd;
Am danat bydd son yn y llys draw i'r llen.

O breseb, er nad ydoedd Bethlehem Juda
Yn dathlu dyfodiad dy lettŷwr di,
Daeth torf o angylion y nef am y cynta'
I roi i'th ymwelydd anrhydedd a bri:
Ac O 'r fath anrhydedd i engyl oedd gweled
Prif Arwr y nefoedd yn faban diniwed—
Yr Hunangyfoethog yn dlawd a dinodded,
A'i dlodi 'n dylifo yn gyfoeth i ni!

O breseb, nid yw dy groesawiad i'r mebyn
Ond dafn o'r tymhestloedd sydd eto i dd'od—
Rhyw flaenffrwyth o'r dirmyg a'r gwawd sydd i'w ddilyn
Wrth geisio 'r colledig, yr hyn yw ei nod:
M e ynot ryw ardeb o'r gwaradwyddiadau,
Yr anmharch a'r erlid o flaen y cynghorau,
Y wawdwisg borphoraidd, y goron, ac angau,
Ddyfeisiwyd gan gariad dros ddyn cyn ei fod.

O breseb, pa fodd na'th darawyd yn ddrylliau
I lawr i ddyfnderoedd y ddaear dan len,
Pan gyntaf cyffyrddwyd dy ystlys gan bwysau
Y Gŵr a ddyrchefir trwy 'r nefoedd yn Ben?
Pa fodd y cynneliaist Gynnaliwr y cread,
A llon'd tragwyddoldeb, o'th fewn am un eiliad?
Am oesau diderfyn ceir graddol ddadblygiad
Ar hyn yn ngoleuni tanbeidiol y nen.

O breseb, er tloted dy wedd yn allanol,
Ti oeddit yn nghynghor Tri Pherson yn Un,
Yn aros yn mhlygion y cynllun tragwyddol
I law prophwydoliaeth gael paentio dy lun:
Ti leuwa'st yn berffaith y rhagfynegiadau
Am danat, fel mangre dechreuad gofidiau
Y Gŵr aeth drwy gyfres o ddyoddefiadau
Dan Ddwyfol ddialedd am euogrwydd dyn.

Ti breseb ein Ceidwad, er meithed cyfnodau
A dreiglwyd er pan gefaist fawredd a bri,
Yn nghanol diderfyn newydd-deb yr oesau
Er hyny wyt lawn o newydd-deb i ni:
A phery 'th ddyddordeb—fe ddeil i ddirnadaeth
Rhyw aneirif dyrfa tu hwnt i farwolaeth;
Er gwybod a gwybod, heb gyrhaedd gwybodaeth
Y byddant am byth yn dy ddyfnderoedd di.

ROWLAND E. ROBERTS.

*Dorlan goch,*
*Clwt y bont, Arfon.*

## HIRAETH YN AMERICA AM GYMRU.

Hoffwn deithio eto unwaith
I Walia wèn;
Swynol wlad fy ngenedigaeth
Yw Gwalia wèn;
Llawer llanerch gysegredig
A eneiniais â dychymyg,
A fydd byth yn fendigedig,
Yn Ngwalia wèn.

Cofio 'r ydwyf byth yn Peniel
Yn Ngwalia wèn,
Pan mewn ymdrech gyda 'r Angel
Yn Ngwalia wèn;
Yno cefais fy mendithio,
Pan mewn dagrau dwys ac wylo;
Llawer pryd nid aiff yn angho'
Yn Ngwalia wèn.

Anwyl im' yw 'r llanerch hono
Yn Ngwalia wèn,
Lle mae rhai o'm teulu 'n huno
Yn Ngwalia wèn;
Eisteddwn enyd wrth eu beddrod,
Wylwn ddeigryn cof o'r diwrnod,
Er mai chwerw cofio 'r cyfnod
Yn Ngwalia wèn.

Ar hyd bryniau banog hyfryd
Yn Ngwalia wèn,
Hen gym'dogaeth hardd Ponterwyd
Yn Ngwalia wèn;
Chwilio am y pererinion —
Anwyl frodyr cywir-galon,
Wedi eu rhifo gyda 'r meirwon
Yn Ngwalia wèn.

Lewis Mason, cof am dano
Yn Ngwalia wèn,
Richard James a Thomas, Caero,
Yn Ngwalia wèn;
Daniel Jones a Thomas Blackwell,
Evan Edward, ger y capel,
Aeth o'r golwg yn y gorwel
Yn Ngwalia wèn.

Williams fwyn a Dafydd Gruffydd
Mwy nis gwelwn gyda 'u gilydd,
A'r tad Morgans o Bonterwyd
Roed dan gloion dorau 'r gweryd.

Morgans* bach, ond cawr o gristion,
Adref aeth i wisgo 'r goron;
Trwy 'r llifeiriant dwfr a'r stormydd,
Heddyw yn yr annedd lonydd.

A John Thomas, heblaw eraill,
Sydd yn gorphwys dan y briddell,
Hyd y bore cân yr udgorn—
Boreu adgyfodi 'r meirwon.

Hoffwn weled bryniau Gwalia,
A chael yno un Gymanfa,
Lle bydd gweision Crist yn dyfod
I bregethu gair y cymmod.

* J. M., Llywernog.

Carwn wel'd yr un dylanwad
Ar y gweision, a'r eneiniad,
Ag a welais gynt yn Nghymru
Yn gwneyd i'r miloedd seintiau ganu.

Mynwn wel'd y llwybrau geirwon
Fum yn gerdded i'r ysgolion,
Gyda 'm tadau ar Sabbothau,
Lle saif heddyw hardd gapelau.

HUGH REES
(*Huw Fardd*).

*Warrior Run,*
*Paley P. O., Pa.*

---

## AR GOLL TU DRAW I'R AFON.

WRTH grwydro drwy yr anial maith
Sy 'n llawn o bob peryglon,
Ofnwyf fy ngholli ar fy nhaith
Cyn cyrhaedd glàn yr afon,
Ac ofni methu cadw 'r nôd,
Wrth groesi 'r dyfroedd dyfnion;
Ond ofnaf fwy rhag imi fod
Ar goll tu draw i'r afon.

Cyfandir mawr tragwyddol fyd
Yn sugno 'm hysbryd iddo,
Heb dad, heb frawd, heb gartref clyd,
Na ffrynd i'm derbyn ynddo;
Clogwyni moel anobaith prudd,
Yn adsain drwy 'r awelon,
I eitha 'r pell dyfodol cudd,—
"Ar goll tu draw i'r afon!"

O anwyl Iesu, gâd i mi
Ymdaflu i dy fynwes;
Ond imi gael bod gyda thi,
Nid colli fydd fy hanes:
Câf fy nghroesawu gyda thi
I fynwes fy nghyfeillion,
A chanu 'n llon tu hwnt i'r lli,'
Ar gael tu draw i'r afon!

JOHN DANIEL.

*Cae Goronwy,*
*Dinorwig.*

---

## SICRWYDD ADGYFODIAD Y CRISTION.

HE yn brudd tra 'n ei briddo,—'n y fynwent;
Daw i fyny eto;
Gwŷn heddyw 'i fyd! mae ganddo fo
Law Duw Iôn a'i lw dano.

J. CLWYD WILLIAMS.

*Tryddyn.*

---

## MARW UN YN FYWYD BYD.

MAWR yw y drefn! un marw droes,—Un a fu
Yn fywyd i bob-oes;
Y marw ar bren garw y groes
Yw ein hanadl a'n heinioes.

J. CLWYD WILLIAMS.

*Tryddyn.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

### Y DECHREUWYR CANU.

### II.

BARCHEDIG SYR,—Eilwaith cymeraf fy ysgrifell i ysgrifenu ychydig ar y testun uchod, gan ddymuno ar y darllenydd sylwi ar yr hyn a ysgrifenais yn mis Chwefror; fe allai y bydd hyny yn fantais iddo. Ni raid i *Dechreuwr Canu*, na neb arall, bryderu na dysgwyl y bydd i mi foddloni ei chwilfrydedd trwy roi fy enw priodol. Trin y pwnc ar wahân oddiwrth berson yw y goreu ar hyn o bryd; ond gallaf fentro dyweyd cymaint a hyn, pwy bynag yw *Dechreuwr Canu*, na ddarfu iddo ef wneyd *mwy* nag a wnaethum i tuag at godi caniadaeth y cysegr i'w safle briodol.

Ar hyn o bryd fe allai mai aneffeithiol a fyddai athrawiaethu ar wahanol ranau barddoniaeth ynghyd a'r gerddoriaeth briodol i'w gosod allan, tra bo yn aros gynifer o ddechreuwyr canu aneffeithiol yn gyfryngau i arwain mawl i Dduw yn y cysegr; oblegid nis gallant fy neall. Bum yn ceisio addysgu rhai dechreuwyr canu; ond yr oedd eu gwybodaeth yn rhy brin, a'u cyrhaeddiadau yn rhy fyrion, i amgyffred pethau goreu barddoniaeth a cherddoriaeth; yr oeddynt hefyd yn rhy hunanol i addef fy mod yn gwybod dim mwy na hwythau, ac felly yn rhy anhyblyg i dderbyn unrhyw hyfforddiant.

Pa fodd y mae diwygiad yn bosibl tra y byddo y dechreuwyr canu anfedrus yn trawsfeddiannu swydd na feddant gymhwysder i'w chyflawni? Os bydd eisieu corau i gyflawni rhyw orchestion mewn eisteddfodau, nid hwy a ddewisir i arwain. Na, ni fyn y byd mo honynt i wneyd ei waith cerddorol ef, oblegid rhaid iddo gael rhagorolion. Ond druan o'r cysegr! *rhaid* iddo ef gymeryd eu gwasanaeth anfedrus a hunanol. A oes synwyr mewn rhoi y gwasanaeth goreu i'r byd, a'r gwasanaeth salwaf i Dduw? Gallu i floeddio yw unig gymhwysder rhai i ddechreu canu. Eiddilwch llais toredig yw cymhwysder eraill. Darllen cerddoriaeth yn dda, heb ddim adnabyddiaeth o bethau hanfodol cerddoriaeth, yw cymhwysder llawer. Gellir, o bosibl, ddysgu y rhai olaf yna.

Yr wyf fi yn credu ei bod yn llawn bryd i'r Cyfarfodydd Misol gymeryd y mater i fyny, a gosod y rhan gerddorol o wasanaeth y cysegr o dan awdurdod y swyddogion eglwysig yn gystal a phob rhan arall.

Gan fod y Cyfarfodydd Misol eisoes yn rhanedig i ddosbarthiadau, buaswn yn awgrymu fod pob cyfarfod dosbarth i fod dan arolygiaeth arolygwr cerddorol — un cymhwys yr wyf yn feddwl (ac os na byddai i'w gael o fewn cylch y dosbarth, ymofyner am

dano o le arall), yr hwn a ddylai ymweled â phob cynnulleidfa mor aml ag y byddai yn bosibl; a thaler iddo am ei wasanaeth.

Yr wyf fi yn credu mewn cyfarfodydd canu cynnulleidfaol. Cymerer un rhan o'r Sabboth, pan y byddo yr holl gynnulleidfa ynghyd—dyweder unwaith yn y mis; a defnyddier yr holl amser i ddysgu y gynnulleidfa i ganu. Byddai yn hawdd dysgu dwy o dônau newyddion ymhob cyfarfod. Ac ymhen blwyddyn, byddai y gynnulleidfa wedi dysgu pedair ar hugain o dônau newyddion. Yr wyf yn gwybod am rai cynnulleidfaoedd a gynnaliasant gyfarfodydd felly yn achlysurol, y rhai a fuent yn gyfarfodydd bendithiol iawn. Ië, yr ydoedd rhyw eneiniad gyda'r canu; ac mewn un amgylchiad torodd allan yn orfoledd wrth ganu, "Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria," &c., ar y dôn *Gwahoddiad*. Athrawiaeth y dyddiau diweddaf hyn yw canu geiriau llon ar dôn lon; ac i fesur yr wyf yn cydfyned â'r syniad, ond nid yn ddïeithriad; oblegid credaf fod rhyw agorfa yn yr hen dônau lleddf Cymreig trwy yr hon y gall y Cymry foliannu Duw yn fwy effeithiol hyd yn nôd wrth ganu geiriau llon.

UN O FEIBION ASAPH.

---

YR YMLOSGIAD YN MAWKHAR, SHILLONG.

Y MAE ein cyfeillion wedi darllen yn y *Cronicl Cenadol* am y ddau fis diweddaf am y tân a dorodd allan yn mhentref mawr Mawkhar, rhan o Shillong, trwy yr hwn y llosgwyd yr ysgoldai cenadol; a thueddir ni i roddi yma ran o lythyr a dderbyniasom oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones, dyddiedig y 24ain o fis Mawrth diweddaf:—

"Mae genyf un peth eto y dymunwn ei grybwyll. Yn Ionawr, dim ond deuddydd cyn i mi lànio yn Calcutta, torodd tân allan mewn pentref gerllaw; a lledu yn gyflym a wnaeth. A chan fod y gwynt yn uchel ar y pryd, methwyd yn lân â'i ddiffodd cyn iddo gyrhaedd yr ysgoldai cenadol; a llosgwyd y ddau i'r llawr, fel nad oedd yn aros i'n croesawu ar ein dyfodiad yma ond y muriau. Yr oedd y tô a'r *beams*, y llawr a'r ffenestri, y meinciau, desgiau, mapiau, &c., pob peth wedi eu llosgi; ac y mae'r plant—tua 180—heb yr un cysgod tuag at ddysgu. Yr wyf yn awr yn nghanol yr helynt yn ceisio ailadeiladu y rhai hyn—ysgoldŷ y genethod, ac ysgoldŷ y bechgyn. Ond fe aiff yr adeiladu yn ddrud iawn; ac nid wyf yn hoffi i arian at hyn fyned o gyllid y Gymdeithas. Yr wyf yn ceisio cael a allaf o danysgrifiau yn y wlad hon; ond bydd y swm yn hollol annigonol i gwblhâu y gwaith. Byddwn yn ddiolchgar, a byddai yn gymwynas fawr âg achos Iesu Grist, os bydd ein cyfeillion yna mor garedig â rhoddi help i ni gyda hyn—unrhyw ffordd y gellid meddwl oreu, tuag at i ni gael rhyw gymhorth yn y cyfyngder hwn."

Diau y bydd llawer iawn o'n cyfeillion yn barod ac awyddus i roddi y cynnorthwy a ddymunir gan y brawd anwyl a'r cenadwr ffyddlawn yn yr amgylchiad profedigaethus hwn.

---

MR. THOMAS LEWIS YN MRYNIAU CASSIA.

YN y llythyr crybwylledig, dywed Mr. Jones am Mr. Lewis fel y canlyn:—

"Yn Suez yr ymunodd Mr. Lewis â ni; ac O mor dda oedd genym ei weled! Yr oedd wedi bod yn dysgwyl am danom am wythnos; wedi bod saith niwrnod yn 'nhŷ y caethiwed.' Ond yr ail dydd o'r flwyddyn hon, fe ddaeth yn rhydd, ac i'n llong ni y daeth. Ac ni a gawsom lawer o gymdeithas felus a hyfryd oddiyno i Calcutta, ac o hyd nes cyrhaedd y Bryniau hyn.

"Ni bu efe yma lawn fis, a rhoi mai mis Chwefror oedd hwnw. Ond gwnaeth ddefnydd da o'i amser. Teithiodd lawer yn ol ac ymlaen, ymwelodd â'r prif orsafoedd cenadol, a gwelodd yr holl genadon a'u teuluoedd, a hyny yn eu lleoedd eu hunain; a gwelodd hefyd y nifer fwyaf o'r cristionogion, ac ysgydwodd law â llawer iawn o honynt. Bu yn bresennol mewn Sassiwn, a gwelodd sut yr oedd pob peth yn cael ei gario ymlaen. Cafodd dderbyniad croesawgar ymhob lle a chan bawb. Chwi a gewch yr holl hanes ganddo ar ol iddo ddychwelyd; ac y mae yn awr ar ei ffordd adref. Daeth yma lythyr oddiwrtho heddyw o Calcutta, yn hysbysu iddo gyrhaedd yno yn ddiogel ddydd Sadwrn y 18fed o'r mis hwn (Mawrth). Buaswn yn *leicio* yn fy nghalon wrando arno yn dyweyd yr hanes gartref."

Bydd Mr. Lewis, dybygem, wedi dychwelyd adref rai dyddiau cyn i'n rhifyn hwn ddyfod i law y darllenwyr; a mawr hyderwn y gall Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth yn Liverpool lwyddo gydag ef i gael ganddo dalu ymweliad â'r gwahanol Gyfarfodydd Misol, yn ol fel y byddo yn gyfleus iddo, yr hyn a effeithiai er mantais arbenig i achosion ein Cenadaeth Dramor.

---

CAIS AM WYBODAETH.

BARCHEDIG SYR,—Yr wyf yn ddarllenydd cyson ar y DRYSORFA er ys llawer o flynyddoedd; ac mi fyddwn yn cael llawer o hyfrydwch ac adeiladaeth wrth sylwi ynddi ar holiadau a wneid, ac atebion a roddid, yn awr ac eilwaith, ar byngciau ysgrythyrol a materion eraill. Nid oes dim o'r natur hyn wedi ymddangos ynddi er ys cryn dipyn o amser bellach; a byddai yn dda genyf i'r holi a'r ateb fod yn fwy mynych yn mhrif gyhoeddiad y Methodistiaid Calfinaidd. Bydd llawer o gwestiynau yn myned drwy fy mhen ag nas gallaf fi fy hun eu hateb; ac yr wyf yn byw mewn ardal anghysbell, heb neb amlwg fel duwinyddion, neu fel athronwyr, yn byw yn agos ataf, a minnau o natur yn dueddol i fod yn yswil a dywedwst, ac felly'r cwestiynau yn gorfod aros fel mewn llyn llonydd o fewn fy meddwl. Ond dyma fi yn awr yn anturio at y DRYSORFA, fel at y bwrdd cyfnewid, gyda'r cwestiynau canlynol

y tro hwn, gan fawr obeithio y gwna rhywun neu rywrai o'ch cyfeillion eu hateb ar fyrder, yr hyn a fydd yn gefnogaeth i mi, ac eraill tebyg i mi fy hun, ddyfod eto at eich porth i geisio am elusen o gynbyrddau gwybodaeth.

1. A oes gwahaniaeth ystyr i'r geiriau *rhinwedd* a *sancteiddrwydd*? ac os oes, pa beth ydyw?

2. Yr hyn a elwir yn *ail* achosion, mewn cysylltiad â dygiad ymlaen Rhagluniaeth Duw,—a ellir eu hystyried yn *achosion* o gwbl, yn ystyr fanylaf yr ymadrodd?

3. Pa fodd y mae yn gyson â daioni a chymwynasgarwch, ac felly âg iawnder ac â rhinwedd, fod creaduriaid direswm yn cael eu lladd er mwyn ymborth dyn?

4. Yr ydym yn cael ein dysgu mai dau gyfammod am fywyd y sydd: y cyfammod gweithredoedd, a'r cyfammod gras. Ai nid cyfammod gweithredoedd i Grist oedd yr hyn a elwir yn gyfammod gras?

5. Pa fodd y cysonir yr hyn a ddywedir am Dduw "yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig," â'i eiriau ef, "Fy nghynghor a saif, a'm holl ewyllys a wnâf!"

6. Pa fodd y cydsaif rhwymedigaeth a gwerthfawrogrwydd gweddi â'r athrawiaeth am hollwybodaeth neu ragwybodaeth Duw, ac â'i anghyfnewidioldeb ef?

Ydwyf, yr eiddoch yn ostyngedig,

BRYNDDYN UWCH DYFRDWY.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA TALGARTH.

MAWRTH 20, 21, A'R 22, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. WILLIAM WILLIAMS, Abertawy.

DYDD LLUN, YR 20FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 3 o'r gloch.*

I. Cymerwyd enwau y Cynrychiolwyr.

II. Darllenwyd y cenadwriaethau canlynol:—

*Gogledd Aberteifi*:—I. Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Swyddffynnon, Chwef. 9fed a'r 10fed—Llywydd, y Parch. T. Levi, galwyd sylw at y materion a gyflwynwyd i ystyriaeth yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Rhydfendigaid.—Am "Ad-drefniad Cyfeisteddfod Trefecca," pasiwyd ein bod yn dymuno cynnyg fod i'r Cyfeisteddfod hwnw, ar hyn o bryd, i gyfarfod ynglŷn â Chymdeithasfa Mehefin, ac nid yn Nhrefecca.—II. Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Capel Afan, Mawrth 8fed a'r 9fed—Llywydd, R. J. Davies, Ysw., Cwrtmawr:—1. Bu sylw ar y cynnygiadau o eiddo y Pwyllgor Dirwestol. Pasiwyd ein bod yn cymeradwyo yr oll o honynt.—2. Ein bod yn awdurdodi ein cynnrychiolwyr i ddadgan yn y Gymdeithasfa ein bod yn barod i dalu ein cyfran i fyny at Drysorfa y Gweinidogion, &c., er cyfarfod â chynnygiad Mr. Davies, A.S., Llandinam.—T. EDWARDS, *Ysg.*

*Deheu Aberteifi*:—Fod y Gymdeithasfa i benodi un person ar *Committee* yr Athrofa, a'r gwahanol Gyfarfodydd Misol i benodi dau; un o'r ddau hyn i fod yn arosol fel yr un fyddo wedi cael ei benodi gan y Gymdeithasfa, a'r llall i gael ei ddewis yn flynyddol.—J. JONES, *Ysg.*

*Brycheiniog*:—Ynglŷn â'r genadwri a ddaeth o'r Gymdeithasfa ddiweddaf mewn perthynas i ad-ffurfiad Pwyllgor yr Athrofa, penderfynwyd nad ydym ar hyn o bryd yn gweled angen am unrhyw gyfnewidiad yn y rheol sydd eisoes mewn gweithrediad.—R. DAVIES, *Ysg.*

*Caerfyrddin*:—Penderfynwyd ein bod, fel Cyfarfod Misol, yn glynu wrth y penderfyniad a wnaed yn flaenorol, ac a ddarllenwyd yn Nghymdeithasfa Pontrhydfendigaid, o berthynas i ethol Pwyllgor Athrofa Trefecca, sef, ein bod fel Cyfarfod Misol yn galw sylw y Gymdeithasfa at y rheolau sydd eisoes yn bod o berthynas i Bwyllgor Trefecca, ac yn dymuno ar y Gymdeithasfa i beidio pasio unrhyw benderfyniad a fyddo yn amddifadu y Cyfarfodydd Misol o'u hawliau i ethol eu cynnrychiolwyr eu hunain ar y gwahanol bwyllgorau.—THOS. JAMES, *Ysg.*

*Penfro*:—I. Nid ydym yn ystyried yn ddiogel i gymeryd appwyntiad Cyfeisteddfod Trefecca allan o ddwylaw y Cyfarfodydd Misol, ond eto ein bod yn barnu y dylai y Cyfarfodydd Misol dalu mwy o sylw i achosion yr Athrofa, a phenodi personau fyddont yn teimlo dyddordeb yn y sefydliad; y personau hyn i barhâu yn eu swydd am dair blynedd, ac yn agored i ail ddewisiad.—II. Yr Achos Dirwestol:—1. Ein bod yn barnu mai *un golofn* a ddylai fod yn y Llyfr Dirwestol yr annogir yr eglwysi i'w gadw, sef colofn y llwyrymwrthodwyr yn unig.—2. Ein bod yn gofyn i'r Gymdeithasfa gymhell y Pwyllgor Dirwestol i gymeryd dan ystyriaeth y dull goreu i gynnal *Bands of Hope*, ac i ffurfio cyfarwyddiadau i ddwyn ymlaen eu cyfarfodydd yn effeithiol.—J. REES OWEN, *Ysg.*

*Yr Henaduriaeth*:—Barnwyd y byddai yn ddymunol i Gyfeisteddfod Trefecca gael ei ad-drefnu, a bod i'r Gymdeithasfa ethol un, a phob Cyfarfod Misol neu Henaduriaeth ethol y llall o'r aelodau ar y Cyfeisteddfod.—E. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Hysbyswyd y byddai yn angenrheidiol i'r cais am y Gymanfa Gyffredinol am 1883 gael ei ddwyn i mewn i'r Gymdeithasfa nesaf. Gofynwyd i'r Ysgrifenydd ohebu âg Ysgrifenydd y Gymanfa o berthynas i hyn.

IV. Penderfynwyd rhoddi Llythyr Aelodaeth fel Gweinidog i'r Parch. T. Myrddin Davies, yr hwn sydd wedi penderfynu ymfudo i *New South Wales*, ac ymuno â'r Eglwys Henaduriaethol yn y drefedigaeth hono.

V. Rhoddwyd eglurhâd gan y Parch. D. Edwards, o berthynas i'r "*Charitable Trusts Incorporation Act*," yr hon nid yw y fath, fel y mae yn bresennol, ag y gellir yn fanteisiol ei defnyddio mewn cysylltiad â Meddiannau Cyfundebol; a hysbyswyd fod Mr. Henry Richard, A.S., a Mr. C. H. James, A.S., wedi addaw gwneyd ymchwiliad i'r mater, fel y galler cael gan y *Charity Commissioners*, neu y Llywodraeth, hyrwyddo y cymhwysiad o'r Weithred.

VI. Penderfynwyd ein bod yn anfon anerchiad at ein Grasusaf Frenines, i ddadgan ein cydymdeimlad â hi yn ngwyneb yr ymosodiad a wnaed ar ei bywyd, a'n llawenydd am y waredigaeth hynod a gafodd, gan hyderu y caiff ei harbed am lawer o flynyddau i lywodraethu dros ei deiliaid teyrngarol. Gosodwyd ar y Parchn. W. Howells a W. Evans, M.A., i barotoi y llythyr.

VII. Dewiswyd Cyfeisteddfod i enwi brodyr i'w cynnyg i'r cynnrychiolwyr, at draethu ar Natur Eglwys, ac i roddi y Cynghor, yn Nghymdeithasfa Awst nesaf, ac i fod yn Arholydd Cymdeithasfaol am 1883.

*Cyfarfod y Cynnrychiolwyr, am 6 o'r gloch*

Etholwyd brodyr at y gorchwylion canlynol:— (1.) I draethu ar Natur Eglwys yn Nghymdeithasfa Awst: y Parch. J. Cynddylan Jones.— (2.) I roddi y Cynghor: y Parch. Edward Matthews – (3.) I fod yn Arholydd Cymdeithasfaol am 1883: y Parch. W. M. Lewis, Tyllwyd.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 7 o'r gloch.*

I. Cafwyd adroddiad o'r gwahanol Siroedd gyda golwg ar yr ymdrech mewn cysylltiad â Thrysorfa y Gweinidogion er cyfarfod â chynnygiad haelionus Mr. Davies, Llandinam. Hysbyswyd gan y cenadau o'r rhan fwyaf o'r Siroedd fod y symiau yn barod i'w talu i mewn, neu y byddant felly ymhen ychydig wythnosau; ond yr oedd rhai, o herwydd rhyw amgylchiadau anghyfleus, yn gofyn am ychwaneg o amser. Wedi cryn ymdrafodaeth ar y mater ymhellach, penderfynwyd fod cenadwri yn myned i'r Cyfarfodydd Misol fod yr arian, cân belled ag y byddo yn bosibl, i ddyfod i mewn i'r Gymdeithasfa nesaf, ond yn ddiffael i Gymdeithasfa Awst.

Ynglŷn â hyn, penderfynwyd fod y Llywydd i gyflwyno diolchgarwch mwyaf cynhes y Gymdeithasfa i Mr. D. Davies, am ei hynawsedd yn cydymddwyn â ni, drwy adael ei addewid mewn grym am ryw gymaint o amser ymhellach, fel y galler cwblhâu y gwaith trwy y gwahanol Siroedd.

II. Darllenodd y Parch. W. Evans, M.A., yr Adroddiad canlynol o weithrediadau y Drysorfa hon:—

Nifer aelodau y drysorfa yn bresennol yw 220, ac o'r rhif hwn y mae 137 yn y Dosbarth Cyntaf, a 83 yn yr Ail Dosbarth. Y mae 72 o Weinidogion yn perthyn i'r Gymdeithasfa nad ydynt yn aelodau o'r drysorfa. Bu farw pump o'r aelodau y flwyddyn a aeth heibio, collodd dau eu haelodaeth drwy esgeuluso gwneuthur eu taliadau, a diaelodwyd un. Ond derbyniwyd un ar bymtheg o aelodau newyddion, yr hyn sydd yn gwneuthur ennill o wyth yn nghyfanrif nifer y Gweinidogion sydd yn awr yn perthyn i'r drysorfa.—Cyfanswm taliadau y Gweinidogion i'r drysorfa yn 1881 ydoedd £452 5s. 4c.; ac yr oedd llogau y gronfa yn £145 2s. 6c. Nid yw y casgliadau wedi eu gorphen; a dymunir yn y modd taeraf wasgu ar yr holl swyddogion eglwysig i wneyd pob ymgais yn eu gallu i orphen yr ymdrech sydd yn awr yn cael ei gwneuthur, fel ag i alluogi y Cyfeisteddfod i ddwyn allan yr adroddiad erbyn y Gymdeithasfa nesaf.—Mae y Taliadau allan am 1881 fel y canlyn:—i 44 o Weddwon, £534 13s. 8c.; i 4 o Weinidogion Methedig, £97 10s.; at Draul 5 o Angladdau, £35; i 8 theulu o Amddifaid, £55; at Achosion o Gystudd, £82 3s.; Treuliadau Cyffredinol a Manion, £21 2s. 3½c. Y cyfanswm, £825 8s. 11½c.

Penderfynwyd,— 1. Fod diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i bwyllgor gweithiol a swyddogion cyffredinol a sirol y drysorfa, am eu llafur ffyddlawn mewn cysylltiad â'r achos hwn am y flwyddyn ddiweddaf.—2. Fod yr un personau yn cael eu dewis i fod yn bwyllgor gweithiol am y flwyddyn ddyfodol.—3. Dymunir galw sylw holl aelodau y drysorfa at yr angenrheidrwydd iddynt wneuthur eu taliadau blynyddol mor gynted ag y byddo modd, ar ol derbyn y ffurf (c) yn gofyn am danynt, a bod yn ofynol iddynt wneyd hyn yn ol y Rheolau o bellaf cyn diwedd mis Mehefin, onidê byddant yn colli eu haelodaeth.¶

III. Bu sylw ar y Genadwri o Sir Benfro, gyda golwg ar yr Achos Dirwestol, a phenderfynwyd:—(1.) Mai un golofn sydd sydd i fod yn y Llyfr Dirwestol yr annogir yr eglwysi i'w gadw, sef colofn y llwyrymwrthodwyr yn unig.—(2.) Cydsyniwyd hefyd â'r ail gais yn y genadwri.—(3.) Trefnwyd i'r Cyfeisteddfod Dirwestol gyfarfod mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa

hon.—(4.) Ynglŷn â hyn, cafwyd hanes cysurlawn gan amryw frodyr am fudiad y *Blue Ribbon Army*, a'r daioni mawr sydd eisoes wedi ei wneyd drwyddo; a phenderfynwyd ein bod yn dadgan ein llawenydd o herwydd y llwyddiant hynod sydd wedi bod ar yr Achos Dirwestol ynglŷn â'r mudiad hwn, ac yn annog ein brodyr ymhob man i wneyd eu goreu o'i blaid.

### Dydd Mawrth, yr 21ain.

*Cyfeisteddfod yr Athrofa, am* 8 *o'r gloch.*

1. Penderfynwyd fod y Trysoryddion yn cael eu hawdurdodi i dalu biliau i'r swm o £18 18s.—2. Penodwyd y Parch. Daniel Jones, Rhaiadr, i draddodi yr anerchiad blynyddol i'r Efrydwyr, yn lle y Parch. W. Evans, Tonyrefail, yr hwn nad yw yn ymdeimlo y gall ymgymeryd a'r gorchwyl. —3. Derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. T. James, M.A., yn hysbysu ei fod yn rhoddi ei swydd i fyny fel Ysgrifenydd yr Athrofa. Penderfynwyd ein bod yn gohirio yr ystyriaeth o hyn hyd Gymdeithasfa Awst, ac yn gofyn i Mr. James, yn y cyfamser, ail ystyried y mater.—4. Rhoddodd Mr. Jones Parry, Abertillery, adroddiad manwl o'r ymchwiliad sydd wedi ei wneyd ar gyfrifon yr Athrofa; a phenderfynwyd ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i'r brodyr sydd wedi gwneyd y gorchwyl hwn mor foddlonol, ac yn dadgan ein llawenydd fod y fath foddlonrwydd wedi ei gael drwy yr ymchwiliad, ac fod crynodeb o'r Adroddiad i ymddangos yn y Cylchlythyr.—5. Gwnaeth Mr. Matthews sylwadau pellach ar y cyfrifon, a chyda golwg ar yr Adroddiad Cyffredinol y mae efe yn barotoi, ac sydd yn awr agos yn barod i'w gyhoeddi. Penderfyniwyd ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch gwresocaf i Mr. Matthews am y drafferth y mae wedi gymeryd, yn ngwyneb fod y gwaith mawr hwn wedi ei dwyn i derfyniad ganddo ar ol llafur a phryder llawer o flynyddau. Penodwyd y Parch. David Edwards, a Mr. Jones Parry, i gynnorthwyo Mr. Matthews yn nygiad allan yr Adroddiad.—6. Gyda golwg ar addfuriad Cyfeisteddfod yr Athrofa, cafwyd fod mwyafrif y Cyfarfodydd Misol yn erbyn gwneyd unrhyw gyfnewidiad yn y modd yr etholir y Cyfeisteddfod. Penderfynwyd gan hyny adael y peth fel y mae, ond ar yr un pryd ein bod yn dymuno ar y Cyfarfodydd Misol ofalu penodi brodyr cymhwys, a bod i'r rhai a benodir ofalu dyfod i gyfarfodydd y Cyfeisteddfod.—7. Penderfynwyd ymhellach fod Adroddiad Blynyddol o waith a chyfrifon yr Athrofa i gael ei ddarparu a'i argraffu.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am* 11 *o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr ymddyddauwyd â'r Parchn. Daniel Jones, Rhaiadr, a H. Davies, Great Oak, am eu profiadau. Cafwyd pleser mawr yn yr ymddyddan; a hyderir y caiff ei fendithio er adnewyddiad i'r frawdoliaeth yn gyffredinol.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Pontardawe, Mai 23, 24, a'r 25ain. Cyfarfod y Cyfeisteddfod i fod am 6 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 23ain.

II. Derbyniwyd yr Adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

1. Enwyd y brodyr canlynol o'r gwahanol Siroedd i'w hordeinio: Caerfyrddin, D. Jones, Brynaman; James Morris, Llansawel. Brycheiniog, E. M. Rees, Hay. Dwyrain Morganwg, D. M. Jones, Treherbert; E. Griffiths, Llantrisant. Penfro, D. Richards, Milford.—2. Penderfynwyd ein bod yn dymuno ar y Gymdeithasfa wasgu ar y gwahanol eglwysi i barhâu mewn gweddi am Adfywiad Crefyddol, yn enwedig yn ngwyneb yr arwyddion presennol o lwyddiant ar achos sobrwydd yn y wlad.—3. Penderfynwyd ein bod yn dymuno yn y modd taeraf ar i holl swyddogion y Cyfundeb wneyd ymdrech adnewyddol yn y misoedd dyfodol i orphen y Casgliad at Drysorfa y Gweinidogion, er cyfarfod â chynnygiad Mr. Davies, Llandinam. —W. Griffiths, *Cadeirydd;* James James, *Ysgrifenydd.*

Cymeradwywyd yr adroddiad. Cafwyd nad oedd rhai o'r brodyr uchod wedi bod lawn pum' mlynedd yn aelodau o'r Cyfarfod Misol; ond o herwydd amgylchiadau eithriadol, penderfynwyd eu bod i gael eu hordeinio.

III. Cafwyd anerchiad rhagorol gan Prof. Howells, Llywydd Athrofa Trefecca, ymha un y galwai sylw neillduol at Fugeiliaeth Eglwysig yn ein plith, ein dyledswydd i'w phleidio yn fwy egnïol, a'r anhawsderau sydd ar y fford. Annogai hefyd i fwy o gydymdrech i symud ymaith y baich trwm o ddyled sydd ar ein capelau, yn enwedig mewn rhai Siroedd.

Penderfynwyd,—(1.) Fod y brodyr canlynol yn Abertawy yn cael eu penodi yn Gyfeisteddfod Darpariaethol i dderbyn awgrymiadau ar y materion uchod, ac i ddwyn adroddiad i'r Gymdeithasfa nesaf, —Y Llywydd, a'r Parchn. D. Saunders, a D. Phillips; Mr. T. Phillips, Alderman Davies, a Dr. E. Davies.—(2.) Fod ein diolch cynhes yn cael ei gyflwyno i Mr.

Howells am ei anerchiad grymus, ynghyda dymuniad am iddo cael ei argraffu fel ag i'w ledaenu gyda'r Cylchlythyr.

IV. Cafwyd hanes tra chalonogol am yr achos yn nghylch y Cyfarfod Misol gan y Parchn. Rees Davies, Talgarth; Daniel Jones, Rhaiadr; D. Miles, Llanelli; a B. Morris, Aberhonddu.

DYDD MERCHER, YR 22AIN.

*Y Cyfarfod Cyffredinol, am* 8 *o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod yr Athrofa.

III. Mabwysiadwyd yr anerchiad i'w aufon at y Frenines.

IV. Darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o'r Cyfeisteddfod Dirwestol:—

1. Fod yn llawenydd gan eich cyfeisteddfod gael ar ddeall fod amryw Gyfarfodydd Misol yn symud ymlaen, yn unol â'r penderfyniad a fabwysiadwyd yn Nghymdeithasfa Dowlais, gyda golwg ar ffurfiad Cyfeisteddfod Dirwestol mewn cysylltiad â phob Cyfarfod Misol, ac yn taer ddymuno ar y lleill i wneyd yr un modd.—2. Ein bod yn dymuno dwyn ar gof i'r Gymdeithasfa y penderfyniad a basiwyd yn Dowlais, yn annog fod Cyfarfod Dirwestol i gael ei gynnal mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa; a'n bod yn mawr obeithio y caiff y penderfyniad hwn ei gario allan hyd y byddo yn bosibl yn y dyfodol.—3. Ein bod yn llawenychu o galon yn llwydd iant hynod llwyrymattaliaeth yn y ffurf o Undeb Dirwestol Efengylaidd, neu Fyddin y ruban glâs; a thra yn cydnabod yr Arglwydd yn ddiolchgar am y symudiad newydd hwn, yr ydym ar yr un pryd yn gweled ynddo alwad arbenig arnom ni i ymdrech adnewyddol a mwy egnïol yn y cyfeiriad hwn.—4. Fod y Gymdeithasfa hon yn dwyn i sylw y Llywodraeth nad oes yr un *grievance* cenedlaethol yn galw mor uchel am feddyginiaeth â'r drygau mawrion ac ofnadwy a gynnyrchir drwy y drefn bresennol o roddi trwyddedau i werthu diodydd meddwol; a'n bod gan hyny, yn y modd mwyaf parchus, eto yn ddifrifol, yn galw ar y Llywodraeth i ddwyn ymlaen eu mesur addawedig ar y mater hwn, gan gorffori yn yr unrhyw egwyddor y *Local Option Bill*, neu reolaeth y trethdalwyr ar roddiad y trwyddedau.—5. Fod yr ysgrifenydd yn cael ei gyfarwyddo i anfon copïau o'r penderfyniad diweddaf i'r Prif Weinidog a'r Ysgrifenydd Cartrefol, a phob un o'r Aelodau dros Ddeheudir Cymru a Sir Fynwy.—DAVID EDWARDS, *Cadeirydd;* MORRIS MORGAN, *Ysgrifenydd.*

V. Gwnaethpwyd sylwadau parchus mewn coffâd am y diweddar Barch. Abraham Oliver, Llanddewi brefi, gan y Parch. J. Morgan, a Mr. James James, Rhiwbwys. Dangosid fod yr holl wlad oddiamgylch, ac yn enwedig ei gartref, wedi cael colled fawr iawn trwy farwolaeth Mr. Oliver, yr hwn oedd yn ŵr hynod mewn ffydd a gweithredoedd da, ac wedi bod o bawb yn un o'r rhai mwyaf llwyddianus fel *bugail.*

VI. Cafwyd ymdriniaeth bellach ar y mater a ddygwyd ger bron gan Prof. Howells y dydd blaenorol; ac annogwyd y cenadau i ddwyn adref i'w Cyfarfodydd Misol yr awgrymiadau a'r cyfarwyddiadau gwerthfawr a roddwyd gyda golwg ar ofal bugeiliol, a symudiad ymaith ddyled y capelau.

G. DAVIES,
*Ysgrifenydd.*

Y MODDION CYHOEDDUS.

Nos Lun, am 7 o'r gloch, pregethwyd gan y Parchn. W. Lewis, Pontfaen, a W. James, Aberdar.

Dydd Mawrth, am 3, pregethodd y Parchn. J. Calvin Thomas, Tenby (yn Saesoneg), a W. Williams, Abertawy.

Am 6, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. G. Davies, Aberteifi (yn Saesoneg), a T. Levi, Aberystwyth. Yr un pryd, yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. T. Davies, Abertawy (yn Saesoneg), a Joseph Thomas, Carno.

Dydd Mercher, yn nghapel y Methodistiaid, am 6 yn y bore, y Parchn. J. Morgans, Rhiwbwys, a Daniel Symmonds, Abergwaen. Am 10, y Parchn. Edward Matthews, a Joseph Thomas. Am 2, y Parchn. T. E. Edwards, Rhymney, a D. Edwards, Casnewydd. Ac am 6, y Parchn. R. Salmon, Llansadwrn, a Joseph Thomas.

Yr un dydd yn yr *Assembly Rooms*, lle yr oedd yr holl wasanaeth Seisonig, pregethodd am 10, y Parchn. J. Cynddylan Jones, Caerdydd, a W. Williams, Abertawy. Am 2, y Parchn. W. Evans, M.A., Pembroke Dock, a Morris Morgan, Treforris. Ac am 6, y Parchn. H. Hughes, Dowlais, a T. Rees, Merthyr.

Dechreuwyd yr oedfäon gan y Parchn. J. Idrisyn Jones, Aberhonddu; D. G. Jones, Tònau; W. L. Powell, Bettws; R. Thomas, Abertawe; J. Owen, Burry Port; W. D. Williams, Penclawdd; B. Lewis, Cendl; a brodyr eraill.

———

YR ADFYWIAD CREFYDDOL YN ARFON.

*Gan y Parch.* FRANCIS JONES, *Waenfawr.*

MAE yn bosibl fod yr adfywiad crefyddol a deimlwyd mewn rhai ardaloedd yn Arfon yn ystod misoedd cyntaf y flwyddyn hon, yn anhysbys, ond i raddau prin, i lawer o ddarllenwyr y DRYSORFA. Modd bynag, y mae yr ymgeledd a brofodd amryw o'r eglwysi, a'r chwanegiadau mawrion a wnaed atynt drwyddo, yn gwneyd yn hyfrydwch yn gystal

ac yn ddyledswydd ysgrifenu ychydig o eiriau am dano. Ychydig o adegau o adfywiad ar grefydd a gafwyd yn awr er ys llawer o flynyddau; ac o ganlyniad y mae y sawl a fedr gyhoeddi yr "ymwelodd Duw â'i bobl," yn llefaru wrth fodd calon y sawl sydd yn meddwl am ei enw Ef, hyd yn nôd pan na byddo cylch y cyfryw ymweliad yn eang a chyffredinol.

Yr wyf yn deall y profwyd mewn rhai manau y tu allan i Arfon, raddau helaeth o'r un peth ag a brofwyd genym ninnau, yn enwedig yn Llangoed Môn, a Phwllheli. Yn Arfon er hyny y teimlwyd mwyaf o hono, ac yn enwedig yn nhref Caernarfon a'r ardaloedd cyfagos—y Waenfawr, Glasgoed, Cwmyglo, &c. Cyfranogwyd o'r cyffelyb ysbryd i raddau llai yn Mangor, ac ardaloedd Talysarn. Ein profiad diolchgar ydyw, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion; am hyny yr ydym yn llawen.' Ac er na bu yr ymweliad ymhob lle gyda'r un grym, ychydig mewn cymhariaeth o eglwysi y Methodistiaid Calfinaidd yn holl Arfon, sydd yn gorfod galaru na phrofasant *ddim* oddiwrtho.

Teimlwyd rhywbeth tra anghyffredin mewn rhai manau yn ystod y cyfarfodydd gweddïo a gynnelid yr wythnos gyntaf o'r flwyddyn newydd. Ond y prif foddion i gychwyn yr adfywiad hwn, yn ddiau, oedd gweinidogaeth y Parch. Hugh Hughes, gweinidog y Wesleyaid, Birkenhead, yn nhref Caernarfon yn misoedd Ionawr a Chwefror. Pregethai Mr. Hughes ar y cyntaf yn nghapel ei enwad ei hun; ond wedi bod yno tua phythefnos, aeth y cynnulleidfäoedd yn rhy lïosog i unrhyw un o'r addoldai; a bu raid symud i'r *Pavillion*. Gwneid y gynnulleidfa i fyny bob nos yn olynol gan dyrfäoedd mawrion o'r wlad yn gystal a'r dref. Os gofynir pa beth oedd yn ngweinidogaeth Mr. Hughes y tro hwn i'w gwahaniaethu oddiwrth yr eiddo ef ei hun a phregethwyr eraill, ar adegau cyffredin, mae yn anhawdd iawn dyweyd. Yr oedd yn syml, difrifol, effro, a chymhelliadol, ond nid yn fwy felly na'r eiddo amryw eraill. Nid oedd dim eithafol o gwbl yn y cymhelliadau Mewn gair, ymddengys fod nodwedd y weinidogaeth ar y cyfan yn dra thebyg i'r hyn y mae Ymneillduwyr Cymru, gyda phob enwad, yn gwrando arni ar hyd y blynyddoedd. Wrth gwrs, nid oedd pawb yn cael eu boddhâu. Camp led uchel, rywfodd, ydyw rhoddi boddlonrwydd i bawb. Yr unig beth eithriadol iawn yn nygiad y gwasanaeth ymlaen oedd fod Mr. Hughes ei hunan, ar derfyn pob oedfa, yn canu unawd *(solo)*—y côr yn cynnorthwyo yn y cydganau *(chorus es)*. Dywedir fod y rhan hon o'r gwasanaeth, fel rheol, yn dra effeithiol. Erbyn cymeryd yr oll i ystyriaeth, diau fod gan yr yni a'r newydd-deb dull oedd yn nodweddu y moddion, rywbeth i'w wneyd â'u heffeithioldeb. Ond yr oedd yno rywbeth arall, llawer iawn mwy Dwyfol. Yr unig esboniad sydd i'w roddi arno yw geiriau y prophwyd, "A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Hysbryd." Nid oes bosibl rhoddi cyfrif am y gwaith amlwg a wneid ymhob oedfa mewn un ffordd arall. Nid oedd llawer o gyffroad i'w weled ar y cynnulleidfäoedd ar y pryd; ond yr oeddynt yn teimlo rhywbeth nes yr ymdyrai tyrfäoedd ynghyd am wythnosau yn olynol, na welwyd eu bath ond yn unig ar adegau ein huchelwyliau enwadol a chenedlaethol, a thyrfäoedd yn ymofyn am le yn eglwys Dduw, na welwyd y cyffelyb er ys tair blynedd ar hugain—adeg y diwygiad yn 1859—60. Nifer y rhai a arosasant ar ol oedfeuon Mr. Hughes, fel ymgeiswyr am aelodaeth gyda'r gwahanol enwadau, ydoedd 416.

Wrth glywed am yr hyn oedd yn myned ymlaen yn y dref, blysid profiad o'r un peth yn yr ardaloedd o amgylch. Mewn llawer o fanau, cyhoeddwyd cyfarfodydd i weddïo bob nos am ddwy neu dair o wythnosau yn olynol, ac yna wythnos neu ragor o bregethu yn yr un drefn. Felly gyda phob enwad yn ddiwahaniaeth. Ac yn y rhan fwyaf o'r manau lle y gwnaed hyny, ni bu y llafur yn ofer. Mewn amryw fanau profwyd pethau anghyffredin. Yn y nodiadau hyn, ni ddysgwylir, mae yn debyg, am fanylion hyd yn nôd o'r hyn a wnaed ac a brofwyd ymhlith y Methodistiaid yn unig. Ac ni ddaeth yr amser eto i wneyd hyny, gan mai yn awr, mewn rhai lleoedd, y teimlir y pethau grymusaf a brofwyd ganddynt o gwbl. Y manau y cafwyd mwyaf o chwanegiadau at yr eglwysi hyd yn hyn ydynt Siloh (100), Waenfawr (66), Engedi (56), Glasgoed (43), Moriah (40), a Chwmyglo (25). Ymddengys fod nifer y rhai a chwanegwyd at eglwysi y Methodistiaid yn Arfon yn unig, yn y tri mis diweddaf, os cymerir i'r cyfrif yr oll o'r manau a brofodd o'r adfywiad, yn rhywle tua saith gant, os nad rhagor.

Fel y dywedwyd wrth gyfeirio at oedfeuon Mr. Hughes yn y dref, nid oedd, ond yn dra eithriadol mewn manau eraill chwaith, lawer o amlygiadau allanol o gyffroad Ychydig fu nifer yr oedfeuon y cafwyd gorfoledd ynddynt. Ond yr oedd yma rywbeth arall llawn cystal: difrifwch a dwysder diammheuol. Prawf o hyny oedd y lliaws mawr a gyrchent yn gyson i'r cyfarfodydd gweddi—yr ing meddwl a brofid gan lawer un nes methu rhoddi hûn i'w hamrantau—rhai, ar ol cychwyn o'r oedfeuon tua'u cartrefi, yn gorfod dychwelyd drachefn i gynnyg eu hunain i'r *society*—yr ymddyddan ymhlith y miloedd gweithwyr yn y chwareli wedi myned, ar y pryd o leiaf, bron yn hollol am bethau crefydd. Ac mewn un chwarel rhwng y Waenfawr a Llanberis—y Cefn du—cynaliwyd cyfarfod gweddi ar yr awr giniaw bob dydd Llun am rai wythnosau.

Y mae y canlyniadau yn hanes y dychweledigion hyd yma yn dra dymunol: nifer fawr o'r rhai a esgeulusent foddion gras, wedi eu codi i'w dilyn gyda dyfalwch; meddwon wedi eu gwneyd yn sobr; tyngwyr a chablwyr wedi adfer iddynt wefus bur. Ac y maent yn dal eu tir ac yn chwanegu cryfder cystal ag y gwneid gan eu cyffelyb mewn adfywiadau blaenorol. Diammheu y rhaid i ni ddysgwyl am wrthgiliadau a chwympiadau. Y mae ûs i'r gwenith goreu yn y byd hwn.

Wrth derfynu, rhaid nodi un ffaith sydd

yn boenus i'w choffâu: y mae llawer o'r rhai y dysgwylid iddynt fod ymhlith y rhai cyntaf i dderbyn y Gwaredwr, yn aros eto yn wrthodwyr o hono. Fel yn nyddiau yr Iesu ei hun, ac fel, o bosibl, y bu mewn adfywiadau crefyddol yn gyffredin, felly hefyd yn awr: y rhai y dysgwylid iddynt fod yn flaenaf ydyw y rhai olaf, a'r sawl a ddysgwylid yn olaf sydd yn dyfod yn flaenaf.

---

CYMANFA Y PASG YN FFESTINIOG.

Y MAE weithian gryn nifer o flynyddau wedi myned heibio er pan y sefydlwyd y Gymanfa uchod. Hen hawlfraint wreiddiol Methodistiaid Bethesda ydoedd ar y cyntaf; a chofir gyda melusder am aml i gyfarfod melus a gafwyd yno o dan ddylanwad gweinidogaeth rymus, efengylaidd, ac argyhoeddiadol yr hen weinidogion a fuont yn addurn i'r pulpud Methodistaidd yn Nghymru. Cyfeirio yr ydym at y Parchn. John Phillips, Bangor: John Jones, Talsarn; a'i frawd efengylaidd y Parch. David Jones, ac eraill, a arferent ddyfod yn fynych iawn y blynyddoedd hyny i Ffestiniog. Huned hen adseinwyr yr udgorn arian yn dawel hyd "ddydd adferiad pob peth." Y mae y Gymanfa yn cael ei chynnal yn awr mewn tri o'r capelau, sef Peniel, Bethesda, a'r Tabernacl. Rhoddwyd eleni hefyd wasanaeth rhai o'r gweinidogion mewn dau gapel arall a adeiladwyd yn ddiweddar, sef Engedi yn y Llan, a Bowydd yn y Blaenau. Y gweinidogion a ymwelodd â ni y tro hwn ydoedd y Parchn. W. John, Penybont; John Lewis, Caerfyrddin; Thomas Levi, Aberystwyth; Owen Evans, Bolton; Josiah Jones, Fflint; John Jones, Rhosllanerchrugog; John Hughes, M.A., Machynlleth; a W. Williams, Abertawe. Yr oedd yr hin yn hynod ffafriol, yr haul yn tywynu yn ddysglaer ar dref a gwlad, a'r cynnulliadau yn dra lliosog. Da genym hysbysu fod yr achos mawr yn llwyddo yn y parthau poblogaidd hyn. Fel y crybwyllwyd, y mae y ddau gapel a nodwyd wedi eu hagor o'r newydd yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, a chynnulleidfäoedd ac eglwysi lliosog iawn ynddynt. Ceir gyda hyny gapelau y Methodistiaid yn y Garegddu, Rhiwbryfdir, a Thanygrisiau, yn cael eu mynychu gan gynnulleidfäoedd ac eglwysi mawr. Byddant hwy yn cynnal eu cyrddau blynyddol ar y Sulgwyn. (Ai nid oes modd cael yr undeb trwy holl eglwysi Ffestiniog i gynnal un Gymanfa ar yr un adeg?) Agorwyd hefyd yn ystod y flwyddyn ysgoldai helaeth iawn yn Dolrhedyn, Tanygrisiau, a Threfeini y Blaenau; a bydd y capel Seisonig yn barod yn fuan bellach. Y mae yn yr holl blwyf wyth o gapelau gan y Methodistiaid, ac un achos Seisonig yn Dolgaregddu, ac wyth o ysgoldai. Y mae rhif yr holl wrandäwyr yn 4750; cynnydd y flwyddyn yn 84. Cymunwyr, 2300; cynnydd, 81; Ysgol Sabbothol, 3484; cynnydd, 145. Bydded i'r hâd da gael dyfnder daear, ac arosed y golomen nefol gyda'i bobl yn y parthau hyn ddyddiau y ddaear.—*Ffestinfab.*

CRONICLAU HAELIONI.

D. DAVIES, YSW., A.S., LLANDINAM.

Y MAE Mr. Davies yn parhâu yn y cymeriad o brif-dywysog haelioni yn ein mysg. Yn Nghyfarfod Misol Trefaldwyn Uchaf, a gynnaliwyd yn Llanbrynmair ar y ddau ddydd olaf o fis Mawrth, wrth alw sylw at y casgliad at y Gronfa Gynnorthwyol, hysbyswyd fod Mr. Davies wedi rhoddi £200 yn hollol ddidelerau yn y casgliad nos Sabboth yn ei le cartrefol, gan ei fod yn teimlo mor awyddus am i'r casgliad hwn fyned yn ei flaen. A chafwyd hefyd £48 gan y cyfeillion eraill yn Llandinam at y Gronfa. Yn yr un cyfarfod, mewn cyfeiriad at y ddyled sydd yn aros ar gapeli mewn lleoedd gweiniaid o fewn cylch y Cwrdd Misol, mynegid, er llonder mawr i'r holl frodyr gwyddfodol, fod Mr. Davies yn cynnyg talu y drydedd ran o'r ddyled ymhob lle, os gwnaent hwy ymdrech egnïol i ddileu y ddwy ran arall.

G. WILLIAMS, YSW., MISKIN MANOR.

YN Nghyfarfod Misol Llwyncoed, Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd y mis diweddaf, un o'r penderfyniadau ydoedd,—"Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch diffuant i G. Williams, Ysw., Miskin Manor, am ei rodd o £50 at gyflog y brawd a fu yn gwasanaethu dros y Cyfarfod Misol yn y Felin Newydd, ac am ei rodd o £10 at Drysorfa y Gweinidogion."

SIR FYNWY.

YN y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn y Farteg y mis diweddaf, cafwyd fod yr eglwys, yn y lle, newydd adeiladu *vestry,* yn werth tua £200, a'r rhan fwyaf o'r draul wedi ei thalu. Diolchwyd yn arbenig i'r anwyl chwaer, Mrs. Davies, o'r lle hwnw, am dalu £150 o ddyled oedd yn sefyll ar y capel, yn gystal a rhoddi £20 at y *vestry* newydd. Darllenwyd yn yr un cyfarfod anerchiad o ddiolchgarwch cynhes i Thomas Matthews, Ysw., Risca, am ei rodd o £63 i'r eglwys yn y lle hwnw, yn gystal â'i garedigrwydd gwastadol bob amser i'r achos da. Hysbyswyd hefyd fod yr eglwys yn y Bargoed wedi talu £50 o ddyled ei chapel yn ddiweddar.

CAPEL SEISONIG LLANELLI.

YMA y bu y Parch. O. Edwards, B.A., yn awr yn nghapel Seisonig Caernarfon, yn gweinidogaethu; a theimlir yn barhâus golled a chwithdod ar ei ol. Eto nid yw yr eglwys a'r gynnulleidfa heb galon i weithio. Yr oedd dyled o £1250 yn aros ar y capel; ac y maent yn ddiweddar, yn benaf trwy *bazaar,* wedi gwneyd £525, ar ol talu pob treuliadau, tuag at ddileu y ddyled.

CYNNULLEIDFA LLANLLECHID.

CYNNALIWYD Cyfarfod Misol Arfon yn mis Ebrill yn Llanllechid. Ac yr oedd hanes yr achos yn y lle hwnw yn brawf o ymdrechiadau haelionus a chyson y cyfeillion yno. Y

mae ganddynt eiddo yn perthyn i'r Cyfundeb sydd o fewn ychydig i fod yn werth pum' mil o bunnoedd; ac y mae'r capel cryf a hardd yno agos yn newydd. Eithr nid oes yn aros yn ddyled ond tuag £800; ac y mae'r swm yna oll yn ddilôg.

---

**SYMUDIAD Y PARCH. W. WILLIAMS, BALA, I BIRMINGHAM.**

Cafodd y Parch. William Williams, gynt o Gorwen, ond o'r Bala er ys rhyw dair blynedd, alwad unfrydol oddiwrth yr eglwys yn nghapel Granville Street (a elwid hyd yn ddiweddar yn Wood Street), Birmingham, i ddyfod yn weinidog iddi; a thueddwyd ef i gydsynio â'r alwad. Teimlir colled fawr ar ei ol o fewn holl gylch Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd. Cyfrifir ef yn frawd gweithgar a phwyllog, neu, yn ngeiriau ein Harglwydd, yn "ffyddlawn a doeth." Y mae efe a'i briod yn awr wedi symud i Birmingham; ac yn y cyfarfod eglwysig a gynnaliwyd brydnawn Gwener y Groglith yn nghapel Hockley Street, mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Blynyddol yn Birmingham, amlygwyd croesawiad serchog iddo gan y cyfeillion o'r ddwy eglwys. Nis gwyddom a gynnelir cyfarfod sefydliad yn nghapel Granville Street.

---

**CAPEL YSTALYFERA, GORLLEWIN MORGANWG.**

Mae'r capel hwn wedi myned dan adgyweiriad trwyadl; y pant trwy ba un yr elid iddo wedi ei gyfodi, fel y mae y fynedfa bellach yn gydwastad â'r ffordd fawr; y muriau wedi eu dyrchafu tua phedair llath, ac oriel ddymunol wedi ei gosod i fyny. Ar adagoriad y capel, yr oedd y Parchn. John Hughes, Carneddau, Trefaldwyn Isaf, a D. James, Llaneurwg, yn efengylu; a chafwyd cynnulleidfäoedd gorlenwol, pregethau effeithiol, a chasgliadau rhagorol.

---

## Bywgraffiaeth a Marwrestr.

**MR. EDWARD BEEDLE, LLANIDLOES.**

Mae llawer o gymeriadau hynod ac enwog yn ein heglwysi heb fod yn swyddogion, yn weinidogion, na blaenoriaid, â'u coffadwriaeth yn fendigedig. Un o'r cyfryw oedd Edward Beedle. Yn y dref y bu efe byw a marw ynddi, adwaenid ef wrth ei gyfenw *Beedle.* Yr oedd y brawd hwn yn un o ragorolion y ddaear—yn un o rai rhagorol yr eglwys a'r gynnulleidfa y perthynai iddi yn y dref. Yr oedd yn gymeriad ar ei ben ei hun. "*He was quite an institute,*" meddai boneddiges wrthym yn y gladdfa ar ddydd ei gladdedigaeth.

Nis gallwn ddyweyd nemawr am ddyddiau ei ieuenctyd, ond yr ydym yn credu iddo gael ei ddwyn i fyny gyda chrefydd o'i febyd. Cawsom yr hyfrydwch o dreulio ugeiniau o oriau difyr yn ei gymdeithas. Yr oedd pawb yn teimlo parch iddo, o herwydd pwnc mawr ei ymddyddan oedd pethau crefydd; ac ennillodd iddo ei hun le mawr yn serchiadau a mynwesau ei gyfeillion a'i gydnabod. Coffäwyd am ei farwolaeth yn ngwahanol eglwysi y dref y Sabboth y bu farw gyda pharch; ac yr oedd yr enwadau crefyddol, a'r dref yn gyffredinol, yn teimlo rhwymedigaeth i dalu y gymwynas olaf i'n brawd ar ddydd ei angladd. Cafodd gladdedigaeth tywysog.

Nos Sadwrn, y 23ain o Chwefror, 1878, talodd ei ymweliadau arferol â'i gyfeillion, ac yr ydoedd yn llawn zel a brwdfrydedd; ond cyn deuddeg o'r gloch, pan yn ei wely, tarawyd ef â dyrnod o'r *apoplexy*, a phrofodd yn angeuol iddo. Bu farw cyn hanner dydd y Sabboth, Chwefror 24, yn 58 mlwydd oed. Ni ddywedodd yr un gair ar ol cael ei gymeryd yn glaf. Yr oedd ei fywyd dichlynaidd er hyny yn brawf o galon yn ofni Duw, a'i farwolaeth yn sicr o fod yn farwolaeth yn yr Arglwydd. Un Beedle a welodd Llanidloes, ac yr ydym yn credu na bydd ei gyffelyb ymhob ystyr. Fel y mae amrywiaeth mewn natur, felly ymhlith dynion. Pan y gosodwyd i lawr gareg sylfaen y capel newydd gan D. Davies, Ysw., A.S., Llandinam, galwodd y Parch. Daniel Rowlands, M.A., ein cyfaill wrth yr enw "Y byth-ffyddlawn Beedle." Nid oedd modd rhoddi enw a chymeriad gwell iddo. Gŵyr pawb ag sydd yn gydnabyddus â Llanidloes am y capel ardderchog a'r ysgoldŷ hardd cysylltiedig âg ef; ac ni ddangosodd neb fwy o zel a ffyddlondeb pan ydoedd yr adeiladau hyn mewn bwriad, ac mewn cwrs o weithrediad.

Bu yn ffyddlawn yn yr holl dŷ fel dysgybl cywir a gonest. Bu yn arweinydd canu am flynyddau, a chyflawnodd y gorchwyl hwnw gyda'r cysondeb mwyaf. Yr oedd swyn yn ei lais, a dylanwad yn ei edrychiad a'i ysgogiadau. Yr oedd ganddo gymhwysderau arweinydd canu cynnulleidfäol. Ond pan welodd un yn perthyn i'r côr canu yn alluocach nag ef i'r gorchwyl hwn, ymddiswyddodd ar unwaith gyda'r parodrwydd mwyaf. Mae y ffaith hon yn dangos doethineb a gras mawr. Ychydig o flaenoriaid canu sydd wedi arddangos ei ostyngeiddrwydd a'i ddoethineb ef. Profwyd llawer o ystormydd enbyd ymhlith y cantorion, ac arweiniwyd nifer lliosog o gynnulleidfäoedd i leoedd geirwon, trwy annoethineb blaenor y gân.

Dyn llawn o Gristionogaeth oedd Beedle, —hunanymwadol, ymroddedig i wasanaeth Duw, gan wasanaethu yr eglwys a'r gynnulleidfa gyda'r amcan puraf. Ac ystyrid ei bresenoldeb a'i wasanaeth ar achlysuron neillduol yn anhebgorol. Yr ydym yn cyfeirio at y Cyfarfod Misol, y cyfarfod pregethu, a'r Gymdeithasfa, pan yn dyfod yn eu cylch i'r dref. Gwnai hyn, nid er

mwyn enw ac elw daearol, ond o gariad at y gwaith. Dangosai y ffyddlondeb mwyaf hefyd gyda'r cyfarfod gweddi wythnosol, y cyfarfod eglwysig, a chyfarfod gweddi y bobl ieuainc nos Sadwrn a bore Sabboth. Yr oedd yn cyflawn ddilyn yr Arglwydd. Mae geiriau Glan Alun am ryw flaenor yn wirionedd am Beedle:

"Yno gwelais ef erioed,
Fel pe buasai 'n un o'r coed."

Gwnaeth gannoedd o weithrediadau bychain, a mil o gymwynasau mân, i achos y Gwaredwr nad oedd neb yn cymeryd sylw o honynt ond ei Arglwydd a'i Waredwr. Mae ei gymeriad fel cadwyn ddysglaer yn ymestyn am yn agos i driugain mlynedd; ac yn ei farwolaeth collodd y Methodistiaid yn Llanidloes "Israeliad yn wir yn yr hwn nad oedd dwyll." Yr ydoedd hefyd yn werthfawr fel aelod o gymdeithas, o herwydd ni byddai byth yn tramgwyddo, yn digio, nac yn mòni. Gallai faddeu a phasio heibio, gan gofio anmherffeithrwydd cymdeithas.

Elfen neillduol arall yn ei gymeriad ydoedd haelioni crefyddol. Yr oedd yn un gwir hael. Cyfranodd mor helaeth lawer gwaith nes cyfyngu ar ei amgylchiadau. Gwariodd fwy mewn teithio i Gymdeithasfäoedd a chyfarfodydd pregethu nag y mae llawer wedi gyfranu yn ystod eu hoes tuag at gref ydd. Ac yn ddiddadl y mae yr amlygiad o'r gras hwn yn arwydd o bresennoldeb grasau eraill. Yr oedd efe yn dychymygu haelioni.

Nodwedd amlwg arall ynddo oedd ei zel a'i frwdfrydedd gyda dirwest. Yr oedd yn ddirwestwr gonest a ffyddlawn. Dywedai yn fynych fod yn anmhosibl cysoni proffes o grefydd âg eistedd yn y tafarndai. Teimlid parch mawr iddo o herwydd ei zel a'i ddidwylledd fel dirwestwr; a rhoddodd ei frodyr y Temlwyr Da eu presennoldeb yn bur gyflawn yn ei angladd.

Yr ydoedd yn meddu ar gynneddfau meddyliol cryfion. Er nad ydoedd wedi ystorio rhyw wybodaeth amrywiol helaeth, eto yr ydoedd yn deall pynciau athrawiaethol a sylfaenol crefydd yn dda. Credai â'i holl galon hen athrawiaethau gogoneddus y Bibl. Yr oedd yn Fethodist Calfinaidd o'r sect fanylaf. Nis gallai oddef i'r athrawiaeth a gredai ef oedd yn ol y gwirionedd gael cam. Yr oedd yn meddu ar gof da. Gwledd oedd ei glywed yn adrodd darnau o bregethau rhai o gewri y pulpud Cymreig.

Yr oedd ei dduwioldeb yn ddiammheuol. Fel cristion y meddyliai y dref am dano. Yr oedd y parch a dalwyd iddo ar ddydd ei angladd yn profi fod trigolion y dref yn credu fod dyn gwirioneddol *dda* wedi eu gadael.

Ar ddydd Iau, yr 28ain o Chwefror, 1878, rhoddwyd yr hyn oedd farwol o'n brawd i orphwys yn mynwent Bethel hyd ganiad yr udgorn! Heddwch i'w lwch!

Fel y dywedodd yr henuriaid wrth yr Iesu fod y "canwriad yn teilyngu cael gwneuthur o honot hyn iddo," felly y gallwn ninnau ddyweyd fod Edward Beedle yn teilyngu hyn o goffadwriaeth i'w enw. Mae efe fel Abel yn llefaru eto.

E. J.

*Builth.*

---

# Amrywiaethau.

### DYLEDWYR LLADRONLLYD.

Nis gallaf gyfrif yn amgen na lladron y bobl sydd yn rhedeg i ddyled yn wirfoddol, y rhai, gan gymeryd arnynt arddangos *respectability*, a ânt i *shop*, ac a alwant am nwyddau heb y bwriad lleiaf i dalu am danynt, neu gan amcanu attal y taliad cyhyd ag y byddo yn bosibl, ac felly yspeilio'r masnachydd o ddefnyddiad ei arian. Nid wyf yn dyweyd fod pawb sydd mewn dyled, neu sydd wedi myned yn fethdalwyr, yn haeddu eu rhestru gyda lladron; ond mi a ddywedaf fod myned i ddyled heb olwg deg a sicr am dalu yn brydlawn, yn beth sydd, mewn iaith gröew, yn lladrad. Y mae llawer un a geir yn rhodio yr heol y bore yfory y gellid yn gyflawn ei ddilyn gan ei deiliwr, ei grydd, ei hetiwr, ei gigydd, ei bobydd, a'i olchwraig,—hwynt-hwy, un ac oll, yn gwaeddi, *Stop thief!* Telwch am eich côb, dywed un. Rhowch i mi y botasau hyna, ebe'r llall. Yr ydych wedi lladrata fy nghig am chwe' mis, medd y trydydd. Telwch am *shawl* y wraig, ebe'r edwerydd. Yn sicr, ni hoffech chwi mo hyny. Wel, ynte, na redwch i ddyled, neu mewn geiriau eraill, Na fyddwch lladronllyd.—*Hugh Stowell Brown.*

### YR EFRYDWYR DEDFRYDEDIG.

AMAETHWR gerllaw un o golegau Wisconsin a gafodd fod llidiart iddo wedi ei ddwyn ymaith; ac ar ol ymchwiliad, cafwyd mai pedwar o efrydwyr y coleg oedd wedi ei symud a'i gymeryd, mewn ffordd o *joke* ymarferol. Efe a achwynodd wrth y penaethiaid colegol; a hwythau, pan brofwyd fod y pedwar efrydydd yn euog, a ddywedasant fod yn rhaid eu troi ymaith o'r coleg, neu ynte iddynt foddloni myned o dan gyfryw gosbedigaeth ag a ddewisai yr amaethwr ei dodi arnynt. Yr efrydwyr a ddewisasant y peth olaf; a'r amaethwr a'u dedfrydodd i hollti pedwar llwyth o goed, a chario'r coed wedi hyny eu hunain i weddw dlawd. Daeth hyn yn destun siarad cyffredinol; ac ar y dydd penodedig i hollti'r coed, pan yr oedd yr efrydwyr wedi myned mewn dull mor guddiedig ag yr oedd bosibl i ddwyn eu cosb, wele, yr oedd tyrfa fawr wedi ymgasglu i edrych arnynt yn myned o dan eu penyd. Yr oedd seindorf hefyd wedi dyfod yno, y rhai a chwareuent dônau cyfaddas tra yr oedd yr hollti a'r cario yn myned ymlaen. Mae yn debyg na fydd dim ychwaneg o symud llidiardau yn yr oes hon gan fechgyn y coleg hwnw.

### YSGRIFENU BRYSIOG.

AM yr ysgrifen a gwblhäwyd ar frys, y tebygrwydd yw nad oes ynddi nemor deilyngdod. Yn hyn y mae'r byd llenyddol a'r byd naturiol yn dra chyffelyb i'w gilydd. Mae cynnyrchion natur yn llysieuol neu yn anifeilaidd, yn arosol neu yn fyramserol, yn ol arafwch neu fuander eu tyfiant. Mae y dderwen, ac y mae'r cawrfil, yn hir cyn cyrhaedd eu perffeithrwydd, ond y maent yn llawer hwy cyn yr ânt i waethygu; tra y mae'r glöyn byw a'r blodyn yn ymddangos ac yn darfod yn fuan, heb bara ymron ond am ddiwrnod. Yr oedd gweithoedd Virgil yn costio iddo lawer o amser a llafur, ond y maent wedi aros mewn bri am yn agos i ddwy fil o flynyddoedd; ond am

bardd hwnw a ymffrostiai y gallai efe ysgrifenu dau neu dri chant o bennillion tra y byddai yn sefyll ar un goes, mae ei gyfansoddiadau ef wedi myned ar goll mewn tymmor braidd mor fyr â'r un y cynnyrchwyd hwy.—*Dr. Knox.*

CINIAW I UN.

Yr oedd gŵr arianog iawn, ond yn nodedig am ei grintachrwydd, yn cyfarfod wrth ei dŷ â nai iddo, yr hwn oedd yn byw yn y wlad gryn bellder oddiwrtho; ac yr oedd yn gweled nas gallai yn iawn beidio gofyn iddo gymeryd ciniaw gydag ef. Yr holl giniaw ar y bwrdd oedd dau *mutton chop.* "Yr ydych yn gweled eich ciniaw," ebe efe wrth ei nai;" "dyna fe." "Ydwyf, fy ewythr," ebe'r gŵr ieuanc, "yn gweled fy nghiniaw i; ond pa le y mae eich ciniaw chwi?"

BODDIO PAWB.

Yr oedd gŵr ieuanc amser yn ol yn ymgeisio am y swydd o ysgolfeistr mewn lle penodol, ac yn sefyll o flaen rheolwyr yr ysgol, pan y gofynodd un o honynt iddo, "Pa fodd y byddwch yn dysgu am y ddaear yr ydym yn byw arni? pa un ai crôn ai ynte gwastad ydyw?" "Wel, syr," atebai yr ymgeisydd hyderus, "mae rhai pobl yn credu un peth, a'r lleill y peth arall; ac mi fyddaf fi yn dysgu i'r plant ei bod hi yn grôn neu yn wastad, yn ol fel y bydd eu rhieni yn dewis i mi wneyd."

---

## Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

### CYFARFOD YR HENADURIAETH YN SHELLA.

Ar y 25, y 26, a'r 27ain o Chwefror, cynnaliwyd y Gymanfa yn Shella. Yr ydys wedi derbyn oddiwrth bob un o'r Cenadon rai crybwyllion am y cyfarfodydd. Yr oedd presennoldeb Mr. T. Lewis yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar y cynnulliad. Baich mawr llythyrau y Cenadon ymha rai y rhoddant hanes yr Henaduriaeth, ac yn wir eu holl lythyrau diweddaf, ydyw ymweliad Mr. Lewis â'r Bryniau. Ni oddefai ein terfynau i ni roddi yr oll a ddywedir gan y Cenadon am y boddhâd a gawsant hwy a'r Cristionogion brodorol yn ei ymweliad â hwynt. Yr oedd ei ddyfodiad atynt wedi eu lloni a'u sirioli yn ddirfawr. Cyhoeddwyd eisoes yn gyflawn yr adroddiad o weithrediadau yr Henaduriaeth a dderbyniwyd oddiwrth y Parch. R. Evans, yr hwn oedd wedi ei ddewis yn Ysgrifenydd. Rhoddwn rai dyfyniadau o lythyrau amryw o'r brodyr, er mwyn cyflwyno hanes mor gyflawn ag y gellir heb gyhoeddi yma yr holl lythyrau, yr hyn ni fyddai ond ailadrodd yr un pethau. Y Parch T. Jerman Jones a ddywed:—"Nyni a gyrhaeddasom Shillong nos Lun, Chwefror 13eg, a boreu Mercher, y 15fed, aeth Mr. Lewis ymaith i ymweled â Jaintia, a chyrhaeddodd Jiwai yr un diwrnod, ac arosodd yno ac yn Shangpoong hyd bore Llun yr 20fed; a phrydnawn ddydd Mawrth cyrhaeddodd ef a Mr. John Jones, a Mr. a Mrs. Evans, ynghyd a nifer o gyfeillion o Jaintia, ar eu ffordd i'r Henaduriaeth yn Shella, a da oedd genym eu gweled oll, a llettŷasant yma y noswaith hono. Bore Mercher, cychwynwyd am yr Henaduriaeth, a bwriadem oll gysgu noswaith yn Mawphlang; ac yr oedd y fyntai yn cynnyddu—yr oedd Mrs. Jones a minnau, ac eraill o Shillong, yn rhan o honi yn awr.

"Pan oeddym agos gyferbyn â Mawreng, gwelem blant yr ysgol, a'r athraw a'i wraig gyda hwynt, a rhai o'r Cristionogion, wedi dyfod oll i roddi croesaw i Mr. Lewis, yr hwn oedd wedi dyfod mor bell i'w gweled. Yr oedd yn dda iawn genym eu gweled oll yn edrych mor siriol. Ymhen ychydig cyfarfyddwyd ni gan blant ysgol Mawphlang, ac eraill gyda hwynt, oll wedi dyfod i'n croesawu; yna troisant yn ol, ac aethom gyda'n gilydd nes cyrhaedd Mawphlang, a chawsom dderbyniad siriol a charedig gan Mrs. Griffiths (yr oedd Dr. Griffiths wedi myned er ys rhai dyddiau i Shella i roddi meddyginiaeth i'r bobl), ac yno y llettŷasom hyd drannoeth. Yn fuan wedi i ni gyrhaedd, daeth Mr. Griffith Hughes o Khadsawphra, ac mor siriol oedd yntau wrth weled ei hen gyfaill Mr. Lewis wedi cyrhaedd Bryniau Khasia.

"Ar ol boreufwyd troisom ein gwyneb tua Cherra, yn fyntai gref, rhai ar farlïod, rhai yn cael eu cario gan ddynion, a rhai ar draed, rhai ar y blaen a rhai yn ol, ond pawb yn wynebu tua'r Henaduriaeth, ac yn llawn bywyd a sirioldeb a gobaith. A chryn bellder cyn cyrhaedd, cyfarfyddwyd ni gan blant ysgolion Nongsawlia a Cherra, a Mr. John Roberts gyda hwynt, a darfu iddynt ganu hymn neu ddwy; wedi hyny troisant yn ol, ac aethom gyda'n gilydd nes cyrhaedd Nongsawlia, lle y cawsom Mrs. Roberts a'r plant oll yn iach.

"Dydd Gwener, y 24ain, cychwynasom oll am Shella. Yn Laitkynsew cyfarfyddwyd ni gan Mr. Stephens, yr hwn oedd wedi dyfod i fyny o Shella i groesawu y gŵr oedd wedi dyfod o Brydain i weled gwaith Duw ar Fryniau Khasia. Nyni a gawsom oll gan y teulu yn Shella dderbyniad caredig a chroesaw rhagorol yr holl amser y buom yno, o nos Wener hyd bore Mawrth; a chafodd yr Henaduriaeth dderbyniad agored a chalonog gan yr holl frawdoliaeth yn y lle, a chan y pentref yn bur gyffredinol."

Dechreuwyd y cynnadleddau am ddeg o'r gloch bore Sadwrn y 25ain. Llywyddid gan y Parch. John Roberts, Cherra.

"Yn y cyfarfod hwn," ychwanega Mr. Jerman Jones, "rhoddwyd deheulaw cym-

deithas a chroesaw caredig iawn i Mr. Lewis ac i Mrs. Jones, ac i minnau fel un wedi bod adref am dro, a chyfarfod dyddorol ac effeithiol ydoedd. Darllenwyd llythyr oddiwrth Ysgrifenydd y Genadaeth yn cyflwyno Mr. Lewis i'r Henaduriaeth ar ei ymweliad â Bryniau Khasia, ac yn yr hwn y dadganai ei obaith y byddai ei ymweliad o fendith i'r Cenadon ac i'r Cristionogion, ac o ddaioni i'r gwaith yn gyffredinol. Wedi hyny darllenwyd cyfieithiad o hono yn Khasi. Yna cafwyd anerchiad da iawn gan Mr. Lewis. Amlygai y boddhâd oedd yn deimlo wrth gael ei hun yn bresennol yn ein canol; fod ymweled â Bryniau Khasia yn hen fwriad ganddo, a'i fod yn ddiolchgar i Dduw am ei ddwyn yn ddiogel trwy yr holl beryglon; fod llawer yn Nghymru yn teimlo cariad mawr atynt—yn gweddïo drostynt, ac yn dymuno eu daioni penaf, ac yn barod i roddi iddynt bob help allent yn y gwaith pwysig o efengyleiddio yr holl Fryniau a'r Dyffrynoedd. Yna rhoes iddynt gynghorion buddiol pa fodd i fyw a rhyngu bodd i Dduw, a chynnyddu mewn gwybodaeth a phrofiad, er bod o gysur iddynt eu hunain ac o fendith i'w cydgenedl sydd eto yn aros yn y tywyllwch. Siaradais innau ychydig am fy ymweliad â Chymru, a'r hyfrydwch oeddwn wedi gael wrth gyfarfod â hen gyfeillion, a gweled gwaith yr Arglwydd gartref, ac am y teimlad cynhes oedd yn cael ei ddangos gan yr eglwysi gartref o blaid yr achos ar Fryniau Khasia, ac am y pleser oeddwn yn deimlo wrth gael fy hun yn eu plith drachefn. Yna siaradodd Mr. Griffith Hughes, Dr. Griffiths, U Jangdum, Jiwai, U Dorkha, Shillong, U Ksanbin, Cherra, oll yn dadgan y pleser oeddynt yn deimlo wrth weled Mr. Lewis yn ein plith, a'u bod yn ddiolchgar i Dduw am ei amddiffyn yr holl daith hyd atom, gan weddïo am i'r un amddiffyn gael ei estyn drosto yn y dyfodol, ac iddo gael dychwelyd yn iach ac mewn heddwch i'w wlad ac at ei deulu. Dywedai U Jangdum fod gweled yr haul a'r ser yn y ffurfafen fel yn dwyn Duw yn nês atom, ac y mae gweled Mr. Lewis yn ein plith fel yn dwyn Bilat (Lloegr) yn nês atom o lawer,—cariad Duw yw hyn; a dywedai U Dorkha eu bod hwy (y Khasiaid) fel yn un ochr i'r byd, a Bilat yr ochr arall—ymhell oddiwrth eu gilydd, ond fod yr efengyl yn ein dwyn yn agos, yn ein dwyn at ein gilydd. Cynnygiwyd gan Mr. John Jones, a chefnogwyd gan U Khnong, benderfyniad o groesawiad i Mr. Lewis, a chynnygiwyd gan U Timothy, a chefnogwyd gan Mr. Stephens, benderfyniad o gyffelyb natur ar ran Mrs. Jones a minnau, a chyfododd pawb ar eu traed i ddangos hyny, yna gweddïwyd gan U Kypa U Nissing. Diolchodd Mr. Lewis a minnau am y derbyniad croesawgar oeddent wedi roddi iddo ef ac i Mrs. Jones; wedi ychydig o eiriau ymhellach gan y llywydd, diweddwyd y cyfarfod gan Mr. Evans."

"Yr oedd y Cristionogion yno," meddai y Parch. G. Hughes, "ac ymhob man y bu Mr. Lewis, yn diolch iddo mewn modd diffuant am ei ymweliad ac i'r eglwys yn Nghymru am anfon yr efengyl iddynt. Synent fod neb yn dyfod ar ei draul ei hun i ymweled â hwy daith mor bell. Yr oedd yma brawf gweledig mor fawr oedd ei gariad atynt. Ac y mae yn sicr fod ei ymweliad wedi gwneyd yr undeb rhwng eglwys Fethodistaidd Khasia ac eglwys Fethodistaidd Cymru yn dynach nag erioed. Yr oedd anerchiadau Mr. Lewis yn yr amrywiol gyfarfodydd, y rhai a gyfieithid gan y llywydd, mor gymhwys a chalonogol fel yr oedd calon pawb yn llosgi; ac yr oedd ei fod yn siarad yn *yr hen iaith Gymraeg*, yn wledd o'r fath fwyaf blasus i ninnau y Cenadon."

Am un o'r gloch, cynnaliwyd cyfarfod y brodorion eu hunain.

Rhydd Mr. Evans y cyfieithiad canlynol o'r crynodeb o ymddyddan a fu gan y brodorion. Parotowyd y papyr hwn ganddynt hwy eu hunain i'w anfon i'r eglwysi. Nid ydys yn rhoddi ond y cyfeiriadau at yr adnodau. Yn y papyr ceir yr holl adnodau yn gyflawn.

### CYFARFOD Y BRODORION.

"*Mater*—'Paham nad yw y gwaith yn llwyddo fel y dylai?'

"I. *Am fod Cristionogion yn fyr yn eu gwaith.* Pe gweithient fel y dylent, gan deimlo, mewn gwirionedd ei fod yn ddyledswydd arnynt, fe lwyddai y gwaith. Rhuf. i. 14, 15; 1 Cor. ix. 16; Phil. i. 29, 30.

"II. *Oblegid bywyd (cerddediad) gwyrgam Cristionogion.*

"1. Am nad yw eu gweithredoedd yn cydfyned â'u geiriau. Rhuf. ii. 21—23; Mat. xxiii. 4; v. 16.

"2. Oblegid diffyg cariad brawdol Cristionogion. Col. iii. 14; Ioan xv. 12.

"III. *Oblegid nad ydym ein hunain wedi cynnyddu mewn gwybodaeth o air Duw.* 2 Tim. ii. 16, 17; Ephes. iii. 4.

"IV. *Am nad ydym yn gweithio gyda'r unig amcan o ogoneddu Duw, ond gydag amcan at ein lles ein hunain.* 2 Cor. x. 17, 18; 1 Cor. i. 31; Ioan v. 41; vii. 18.

"V. *Gweithio heb weddïo, neu weddïo heb weithio.* Iago iv. 3; v. 15; Mat. vii. 7, 8, 21.

"VI. *Gwaith.*

"1. Heb ffydd. Mat. xxi. 21; Heb. xi. 1—40.

"2. Heb amynedd. Rhuf. viii. 25; Iago v. 7.

U SATI KOHNGOR, *Cadeirydd.*
U KSAN BIN, *Ysgrifenydd.*

*Shella, Chwef.* 27, 1882."

YR AIL GYFARFOD, AM DRI O'R GLOCH.

1. Cais o eglwys Nongsawlia am ganiatad i roddi tô haiarn ar y capel: y cyfeillion wedi casglu tua £70, ac wedi derbyn tua £50 gan gyfeillion caredig yn Nghymru. 2. Cais o Mairang, Khadsawphra, am ganiatâd i adeiladu capel newydd. 3. "Daeth Dr. Griffiths â chais am i ddau o Ddosbarth Mawphlang, sef U Ramonkai ac U Dwonkai, gael sefyll yr arholiad am fod yn Efengylwyr, yr hwn a gynnelir yn Nongsawlia yn adeg yr Henaduriaeth nesaf, a chaniatäwyd y cais. Penderfynwyd fod i'r ddau, yn y cyfamser, fyned yn achlysurol i Cherra, Nongrymai, a Shillong i bregethu, er mwyn i'r brodyr gael mantais i'w clywed. 4. Derbyniwyd dau frawd o Shella, sef U Jikha ac U Tabuh, yn aelodau o'r Henaduriaeth fel diaconiaid yn Shella. Gofynodd Mr. Lewis (trwy gyfieithydd) gwestiynau iddynt ynghylch eu gwybodaeth, ac atebasant yr oll yn dda oddieithr un. 5. Cyflwynodd Mr. Jerman Jones gofion serchog Mr. a Mrs. Lewis, a Mr. Hugh Roberts, o Wrexham, i'r Cristionogion oll ar y Bryniau; a dywedai Mr. Jones eu bod yn cofio yn gynhes at rai personau yn neillduol." "Derbyniol iawn," meddai y Parch. John Jones, "oedd cael gair o gofion oddiwrthynt. Mae enwau y tri yn beraidd gan lawer o Gasiaid, a'u coffa yn fendigedig."

Yna cafwyd hanes y gwaith yn Nosbarth Shella. Rhydd Mr. Evans grynodeb o'r hyn a ddywedid am bob lle yn y Dosbarth. "Wedi myned yn ol," meddai Mr. Hughes, "yr oedd yr achos yn yr holl eglwysi oddieithr Shella. Yno yr oedd cryn gynnydd wedi cymeryd lle; ac yr oedd y cynnulliadau yn profi yn eglur fod gwaith mawr wedi ac yn cael ei wneyd yn Shella. Y mae Cristionogaeth yno yn allu cryf yn awr." Gan ei bod yn hwyr, gohiriwyd yr adroddiad am yr achos yn mhentref Shella hyd ddydd Llun.

Y Sabboth, pregethwyd mewn pabell a godasid ar lân yr afon. Am 10, U Kher, Sohbar, a Mr. J. Jones, Jiwai; am 1, U Khnong, Nongsawlia. "Yna," meddai Mr. Jerman Jones, "rhoddes Mr. Lewis anerchiad neu bregeth fer, ond na chymerodd ran neillduol yn destun; a Mr. Roberts yn cyfieithu. Dywedai, "Mae yn dda iawn genyf eich gweled yn dyfod i wrando pregethu y gair,—yn dyfod yn y fath nifer,—yn ymddwyn mor weddus,—y fath nifer o blant ac oll mor lonydd; bydd i mi ddyweyd hyn wrth y Cymry gartref. *Cynnyddwch;* mae dyn i gynnyddu mewn da neu ddrwg am byth,—cynnyddwch mewn gwybodaeth ysgrythyrol, cynnyddwch mewn defnyddioldeb, a chynnyddwch mewn profiad o wirionedd ac o fendithion yr efengyl. Yr Arglwydd a'ch bendithio.'" Yna pregethodd Mr. Jerman Jones. Am 4, U Sati, Mawnai, a Mr. G. Hughes. Yr oedd, yn ol un adroddiad, o 1500 i 1700 yn y cyfarfod ganol dydd.

BOREU LLUN, AM SAITH O'R GLOCH.

Rhoddwyd hanes yr achos yn mhentref Shella. "Dywedid," meddai Mr. Evans, "fod y cyfeillion yn Shella yn ceisio dwyn yr efengyl i afael â'r bobl eu goreu, a'u bod yn ceisio addysgu y proffeswyr yn ngair Duw. Mae 4 o leoedd i addoli yn y pentref, sef Mawryngkong, Nongnong, Nongrum, a Jasir. Bydd dau yn myned i bob un o'r lleoedd hyn i gynnorthwyo i gario y cyfarfodydd ymlaen ar y Sabboth.

"Derbyniwyd i'r eglwys er yr Henaduriaeth ddiweddaf 86, o ba rai diarddelwyd 15, a bu farw 1. Mae 9 o bersonau yn arfer pregethu yr efengyl yn y gymydogaeth. Rhifa yr eglwys 160. Casglwyd oddeutu 100 *rupees* y flwyddyn ddiweddaf. A chyfrif y pedwar lle, mae yr eglwys yn rhifo 181, a'r gwrandäwyr 250.

"Wrth wrando ar yr adroddiad o'r pentrefi bychain cylchynol, yr oedd yr achos yn ymddangos yn lled ddilewyrch; ond y mae Shella ei hun wedi gwneyd cynnydd mawr, a'r bobl yn ymddangos yn gweithio gyda chryn lawer o yni.

"Yna bu sylw ar fater ordeiniad pregethwyr brodorol, a siaradodd Mr. Lewis, a'r Cenadon, ynghyd a phump neu chwech o'r brodorion ar y mater. Ar ol dwyn y peth ymlaen o ddifrif, yr wyf yn credu mai y teimlad cyffredinol ydoedd nad oedd yr eglwysi na'r efengylwyr yn hollol addfed eto i'r symudiad. Siaradodd rhai o'r brodorion yn bur dda ar y pwnc, ac ar ol annog yr holl Gristionogion i ystyried y peth yn ddifrifol, penderfynwyd ei ohirio hyd Henaduriaeth Nongsawlia, pryd y dysgwylir cael mwy o hamdden i siarad arno a gwybod teimladau y brodorion yn well yn ei gylch."

"Bore ddydd Mawrth yr 28ain," meddai Mr. Hughes, "troisom yn ol tuag adref. Yr oedd Mr. Lewis a minnau ynghyd, a nifer o bobl Shella, wedi cychwyn at lân yr afon ychydig o flaen y cyfeillion eraill. Pan ar fyned i'r cwch gofynodd U Timothy ar ran ei frodyr a gaent fyned i weddi am amddiffyn Duw dros Mr. Lewis ar ei daith adref. Felly, ar lân yr afon, ar domen o bridd, penliniasom a gweddïodd U Jikha, un o flaenoriaid Shella. Yr oedd hon yn

olygfa o'r fath fwyaf effeithiol, yn ein hadgoffa o Paul a henuriaid Ephesus ar draeth Miletus."

"Diau," meddai Mr. John Jones, "na bydd i Mr. Lewis anghofio ei ymadawiad o Shella boreu dydd Mawrth tra y bydd byw, a diau genym fod y Nefoedd yn chwennychu edrych ar y fath olygfa—Khasiaid melynddu yn ymgrymu ar lân yr afon, cyn iddo groesi i'r ochr draw, ac un o honynt—U Jika, un o flaenoriaid Shella, yn ei gyflwyno mewn gweddi i ofal Duw pob gras. Dyma act a chrefydd apostolaidd yn ddiammeu. Ac nid oes genym ninnau, pan y mae ar droi gartref, ond gwneyd yr un peth. Nodded Duw a fyddo drosto!"

---

## LLYTHYR ODDIWRTH MR. THOMAS LEWIS.

MAE llawer o ddarllenwyr y CRONICL CENADOL wedi cael cyfle i weled y llythyr canlynol eisoes, ond diau y bydd yn newydd i'r nifer mwyaf o honynt; a bydd yn dda gan bawb o honynt gael wrth law adroddiad Mr. Lewis o'r argraffiadau cyntaf a wnaed ar ei feddwl wedi gweled y Bryniau a'u preswylwyr:—

"Nongsawlia, Mawrth 2il, 1882.

"ANWYL SYR,—O ddaioni yr Arglwydd, dyma fi wedi cael y fraint o weled Bryniau Khasia a Jaintia. Bu y daith yma yn lled faith a helbulus, fel yr ydych yn ddiau wedi clywed; ond y mae Mr. a Mrs. Jones a minnau wedi cael iechyd hollol dda ar hyd yr holl daith, oddieithr ychydig ddyddiau o afiechyd y môr.

Bu yn hynod ddifrifol arnom y rhan ddiweddaf o'r fordaith yn y *City of Edinburgh*, gyda golwg ar fwyd a diod. Gallwn ddyweyd am hon yn hollol fel y dywedodd y Cymro hwnw am Lundain, "Pe buasai raid i mi fyw yno am fis yn ychwaneg, buaswn yn sicr o farw cyn pen y pythefnos. Gorfu i ni aros yn lled hir yn Calcutta i ddysgwyl am y *luggage*, a'u cael trwy y *Custom House*, &c., a bu y daith oddiyno i'r Bryniau yn hŵy nag arfer. Buom ein tri yn hynod gysurus gyda'n gilydd, ac y mae Mr. a Mrs. Jones wedi bod yn hynod garedig a gofalus am danaf.

Drwg iawn genyf drostynt yn wyneb y profedigaethau a'u cyfarfyddodd, o herwydd y bore cyntaf ar ol cyrhaedd Calcutta, cyn i ni fyned i'r lân o'r *steamer*, dangoswyd i ni newyddiadur yn cynnwys *telegram* yn hysbysu fod ysgoldŷ y Genadaeth, ynghyd ag amryw o dai y brodorion, wedi eu llwyr losgi; a phan gyrhaeddasom Shillong yr oedd yno lythyrau yn ein dysgwyl, yn hysbysu am farwolaeth anwyl fam Mrs. Jones. Gellwch dybio mai profedigaeth chwerw iawn oedd hon i Mrs. Jones yn neillduol. Yn gyffredin y mae pawb yn teimlo yn agos iawn at eu mam, ond nid wyf yn gwybod i mi adnabod neb oedd yn teimlo mwy felly, yn gystal ac at ei brodyr a'i chwïorydd, a Mrs. Jones. Yr oeddwn wedi cael fy argyhoeddi o hyny cyn clywed na meddwl am ei marwolaeth.

Cofus genyf i mi ddywedyd yn y Cyfarfod Ymadawol yn Liverpool, fod dau beth lled bwysig i'w hystyried cyn y gallai neb wneyd taith i Khasia; sef penderfynu cychwyn, a gwneyd y daith yno ar ol cychwyn. Ond yr wyf erbyn hyn yn argyhoeddedig fod un peth pwysig iawn arall, ac ar ryw ystyriaethau yn fwy anhawdd na'r ddau arall, sef teithio *yn* Khasia; mae hwn yn orchwyl llafurus iawn, fel y mae fy aelodau yn tystio.

Ar ol gorphwys ond un diwrnod yn Shillong, cychwynais ar gefn merlyn gwŷn Mr. Jones am Jaintia, er darfod y rhan hono o'r wlad cyn y *Presbytery*. Aethum o Shillong i Jiwai—pellder o 43 milldir, mewn un diwrnod. Pan ystyrir fod y llwybrau yr oeddym yn myned ar hyddynt yn debyg—ie, mewn rhai manau yn llawer mwy serth na phe baech yn myned i fyny ac i lawr y Wyddfa, ac na bum ar gefn ceffyl er ys 16 mlynedd, sef pan yn Ngwlad Canaan, braidd nad ystyriwn fy mod wedi gwneyd tipyn o orchest; a thranoeth aethum o Jiwai i Shangpoong, lle y preswylia Mr. Robert Evans. Yr oedd fy nghoesau yn teimlo ychydig yn wahanol i'r hyn a fyddent arfer, erbyn i mi gyrhaedd yno. Er fod y rhan hon o'r maes cenadol yn lled bell, mae yn dda iawn genyf erbyn hyn fy mod wedi bod yno.

Mae y Cenadon a'u gwragedd oll wedi bod yn hynod garedig wrthyf ymhob man; nid oes dim yn ormod ganddynt wneyd i mi. Ac am y brodorion Cristionogol, yr wyf yn credu pe daethai angel o'r nef i ymweled â hwy, na buasent yn teimlo yn agos mor llawen a diolchgar. Maent yn ystyried fy ymweliad â hwy yn gyfnod yn eu hanes, ac yn un o'r prawfion cryfaf a gawsant erioed o gariad a theimlad da y Cymry tuag atynt. Mae yn arferiad gan y Khasiaid pan yn dyfod i ymweled â rhywun i ddyfod âg ychydig *oranges* neu ŵyau yn anrheg. Pe buasai yr holl *oranges* ac ŵyau a dderbyniais gyda'u gilydd, buasent yn gannoedd lawer. A mwy na'r oll, y maent yn wastadol yn gweddïo droswyf, am i'r Arglwydd fy nghadw yn fyw ac iach nes dychwelyd yn ol at fy nheulu i Gymru.

Wedi aros rhyw ddwy noswaith yn Shangpoong, dyma Mr. a Mrs. Evans a'r baban a minnau, ynghyd a'r lliaws cludwyr, yn cychwyn am y *Presbytery* yn Shella,

lle, fel y gwyddoch, sydd ar gŵr pellaf y Bryniau. Cymerodd y daith hon i ni saith niwrnod, ond ein bod wedi gorphwys y Sabboth yn Jiwai. Oddiyno daeth Mr. J. Jones gyda ni, ac o Shillong daeth Mr. a Mrs. Jerman Jones, fel erbyn y rhan ddiweddaf o'r daith, yr oeddym yn orymdaith fawr. Heblaw nyni a'n cludwyr, yr oedd amryw ddiaconiaid ac eraill yn dyfod o'r eglwysi pellaf, rai o honynt wedi dyfod oddeutu 120 milldir ar eu traed bob cam, ac yn bwyta eu bwyd eu hunain. Cyn y cyrhaeddent yn ol byddent wedi bod agos i dair wythnos oddicartref. Dyna ffyddlondeb i achos crefydd, onidê?

Mae teithio yn y wlad hon dipyn yn wahanol i'r hyn ydyw yn Nghymru a Lloegr, lle y mae *railways*, &c. Nid oes yma na ffordd na cherbyd na cheffyl i gario dim (y mae ambell ferlyn yma a thraw): rhaid cario pob peth ar gefnau dynion; ac wrth deithio, rhaid i chwi gludo gyda chwi eich gwely, a'ch hymborth a llawer o ddodrefn. Yr oedd, rhwng meibion a merched, oddeutu 25 o gludwyr yn dyfod gyda ni o Jiwai; ac yr oedd gyda ni hefyd bedair buwch ar hyd y daith, er i ni gael eu llaeth.

Pan ymunodd Mr. Griffith Hughes â ni yn Mawphlang, yr oedd ganddo yntau ferlyn, ond ei fod heb bedolau; a bu gorfod iddo fyned âg ef 36 milldir cyn cael gôf i'w bedoli.

Ond y diwrnod diweddaf o'r daith, sef o Cherra i Shella, yr oedd y ffordd yn rhy ddrwg a serth i'r merlynod ei theithio, er y gallent ymgripio braidd fel cathod; a bu gorfod i mi y diwrnod hwnw ymostwng i'r dull cyffredin o deithio, sef cael fy nghludo ar gefn dyn mewn cadair, neu fasged, ar hyd llwybrau serth a dychrynllyd, fel y byddwn yn aml yn cau fy llygaid rhag edrych ar y dyfnderoedd mawr ag yr oeddym ar eu hymyl. Yr oedd y brodyr eraill, nad oedd ganddynt ferlynod, yn cael eu cludo fel hyn bob dydd.

Dywedodd Mr. Jerman Jones lawer yn dra doniol am y disgyniad mawr i Shella; ond wedi gweled a theithio y lle, gallaf ddyweyd na fynegodd mo'r hanner. Pan yn dyfod oddiyno, buom 9½ awr yn teithio y deuddeg milldir ffordd sydd i Cherra; ond y mae amddiffyn Rhagluniaeth Ddwyfol wedi bod drosom hyd yn hyn, i'n cadw rhag pob damweiniau a phrofedigaethau.

Nid wyf yn bresennol yn bwriadu dechreu dyweyd nemawr am y gwaith cenadol, heblaw fod golwg tra siriol ar bob peth. Mor dda fuasai genyf pe buasai cannoedd o bobl Cymru yn gweled y golygfeydd a welais: y cannoedd plant a phobl yn dyfod i'n cyfarfod am filldiroedd, ac yn canu emynau ar hen dônau Cymreig adnabyddus i ni; yr ysgolion dyddiol a'r ysgolion Sabbothol yn hollol fel rhai Cymru; lliaws mawr o blant bach siriol yn gallu darllen eu Testament mor llithrig ag un pregethwr; dosbarthiadau o rai canol oed a llawer o hen bobl,—cyfrifais dair ar ddeg o hen wragedd tua 70 mlwydd oed mewn un dosbarth yn Jiwai,—ac yn neillduol y Saasiwn yn Shella. Dyna lle yr oedd golygfa hardd!—oddeutu pymtheg cant o bobl gyda'u hwynebau melynddu a'u llygaid siriol mewn *tent* mawr ar y traeth ar lân yr afon yn gwrandaw mor astud, ac yn llawer mwy llonydd na'r cynnulleidfaoedd yn Sasiynau Cymru. Yr oedd yr oedfa gyntaf yn dechreu am 10, lle y pregethodd un o'r Khasiaid a Mr. John Jones. Ymhen hanner awr ar ol i'r oedfa gyntaf ddarfod canwyd y gloch, a daeth y dyrfa ynghyd. Pregethodd un o'r Khassiaid, bu gorfod i minnau ddyweyd gair, a phregethodd Mr. T. Jerman Jones. Ymhen tua hanner awr ar ol y gwasanaeth hwn canwyd y gloch drachefn. Daeth y gynnulleidfa ynghyd, a phregethodd un o'r brodorion a Mr. G. Hughes. Tystiolaeth gyffredinol y brodyr oedd fod y pregethu yn hynod dda, a bod pregethau y brodorion yn fwy sylweddol nag arfer.

Mae yr efengyl wedi cael rhyw ddylanwad mawr yn y wlad hon. Mae y rhai sydd heb fod yn Gristionogion wedi dyfod i barchu y Cristionogion a'u cyfarfodydd. Gwelsom hyn yn Shella. Mae yno bedwar o *Wahdars*—math o benaethiaid neu farnwyr etholedig gan y bobl. Nid oes yr un o honynt yn Gristion, eto yr oedd y pedwar yn gwrando ar yr esgynlawr, a darfu i un o honynt wneyd gwledd i'r holl ddyeithriaid yn y *tent* ddiwrnod diweddaf y Gymanfa. Yr oedd y Cenadon a minnau yn aros yn nhŷ Mr. Stephens yr ochr arall i'r afon—mangre y cythreuliaid, fel y gwyddoch; a darfu i'r gŵr hwn anfon drosodd at ein gwasanaeth ni bedair o hwyaid, deg o ieir, basgedaid o wyau, siwgr, reis, llaeth, darn mawr o *pork*, &c.

Rhoddais nifer o gwestiynau ysgrifenedig heddyw i bump o efrydwyr sydd yn astudio duwinyddiaeth yn Cherra, ar Briodoliaethau Duw. Dyna y pwnc yr oeddynt yn darllen arno ar y pryd. Cawsant awr i ysgrifenu atebion, a minnau yn yr ystafell gyda hwy. Deuaf â'r atebion gyda mi adref.

Yr ydwyf wedi gweled yr holl orsafoedd lle y mae y Cenadon oddigerth Nongrymai, lle y triga Mr. G. Hughes; ond yr wyf yn bwriadu treulio y Sabboth nesaf yno. Wedi hyny dychwelaf at y Sabboth dilynol i Shillong, a dechreu yr wythnos ddilynol byddaf yn troi fy wyneb tuag adref. Yr ydwyf wedi cael pob cyfleusdra i weled y gwaith yn ei holl ranau—yr ysgolion dyddiol, y cyfarfodydd eglwysig, yr ysgolion

Sabbothol, y pregethu, a'r Gymanfa neu y *Presbytery*. Gallaf ddyweyd yn onest yn ngeiriau Mr. Jerman Jones pan yn Nghymru, '*Fod gwaith mawr yn cael ei wneyd yn Khasia.*' Os gwel yr Arglwydd yn dda fendithio y gwaith yn y dyfodol fel y mae wedi gwneyd y blynyddoedd diweddaf hyn, diau y bydd golwg gwahanol iawn ar y Bryniau hyn ymhen deg neu ugain mlynedd eto.—Yr eiddoch,

THOMAS LEWIS."

[Yr ydym yn gorfod gadael allan hanes taith y Parch. John Jones i Dyffryndir Jaintia, er ei fod wedi ei gysodi.]

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Gorllewin Meirionydd, trwy law Mr. G. Jones, Gwyddelfynydd, y Trysorydd Sirol | 294 | 7 | 8 |
| Rock, Mynwy | 8 | 8 | 0 |
| Casgliad y Plant, Penybryn, Ruabon | 1 | 8 | 4 |
| Dosbarth Cyntaf Minnesota, U. D. America, trwy law Mr. E. Evans | 10 | 5 | 0 |
| Gorllewin Morganwg (ychwanegol), trwy law Mr. W. Griffith, Taibach, y Trysorydd Sirol | 49 | 11 | 1 |
| Hirwain | 9 | 0 | 0 |
| Tredegar | 1 | 0 | 2 |
| Sir Benfro, trwy law Mr. H. Ll. Harries, U.H., y Trysorydd Sirol | 47 | 0 | 0 |
| Gogledd Aberteifi, trwy law Mr. P. Williams, U.H. y Trysorydd Sirol | 84 | 5 | 4 |
| Meudwy, Penuchaf, Môn | 1 | 0 | 0 |
| Plant Bettws y coed | 1 | 8 | 10 |
| Bwlchygroes, Sir Benfro | 2 | 1 | 0 |
| Casgliad Plant Capel Bethania, Cwmtwrch | 8 | 6 | 0 |
| Cangen Gymdeithas y Merched, Bethesda, Arfon | 21 | 17 | 9 |
| Eto Abergele | 12 | 12 | 0 |
| Plant Ystradgynlais | 2 | 3 | 4 |
| Plant Glyn-nedd | 2 | 0 | 6 |
| Plant Talnant | 1 | 8 | 0 |
| Henfaes | 0 | 16 | 0 |
| Libanus, Brynmawr | 8 | 7 | 2 |
| Newport, Mynwy | 15 | 8 | 6 |
| Plant Gwespyr | 1 | 0 | 0 |
| J. M. | 0 | 3 | 0 |
| Treherbert, Dinas, a Blaenrhondda | 8 | 0 | 10 |
| Llanelly, Capel Trinity | 3 | 6 | 8 |
| Llwynmawr, Glyn | 1 | 8 | 6 |
| Mr. E. Peters, Waterloo, tuag at gael to haiarn i Ysgoldŷ Shillong | 1 | 1 | 0 |
| Miss A. Watkins, Gorwydd | 0 | 7 | 9 |
| Casgliad Plant Siloh, Llanelly | 0 | 17 | 9 |
| Mr. W. Evans, Brynmawr | 0 | 2 | 6 |
| Dwyrain Morganwg | 1 | 13 | 4 |
| Penycefn, Caerwys | 0 | 14 | 3 |
| Libanus, Pontardulais | 1 | 2 | 6 |
| Abervan, Merthyr | 0 | 12 | 9 |
| Salem, Nantyglo | 3 | 12 | 4 |
| Henaduriaeth Trefaldwyn, &c. | 28 | 12 | 11 |
| Taliesin | 1 | 8 | 2 |
| Deheu Aberteifi, trwy law Mr. J. H. Jones, y Trysorydd Sirol | 115 | 0 | 0 |
| Eto | 11 | 15 | 3 |
| Sir Fynwy | 27 | 4 | 9 |
| Cangen Gymdeithas y Merched, Liverpool | 209 | 19 | 7 |
| Henaduriaeth Morganwg, Mynwy, &c. | 37 | 6 | 0 |
| Jane Lewis, Hirwaen | 0 | 3 | 0 |
| J. Davies, Canton House, Tredegar | 1 | 0 | 0 |
| Casgl y Plant, Cendl, Mynwy (ychwan) | 0 | 14 | 2 |
| Alice Evans, Bettws y coed | 0 | 5 | 0 |
| Casgliad Plant Crosby Row, Llundain | 2 | 4 | 8 |
| " Cae coch, Fflint | 0 | 18 | 0 |
| " Bodffari | 3 | 1 | 0 |
| " Pontlottyn | 2 | 1 | 3 |
| " Farnworth st., L'pool | 5 | 5 | 0 |
| " Gyfeillion, Pontypridd | 0 | 12 | 0 |
| " Capel Dinam, Nantymoel | 1 | 17 | 8 |
| " Ynys, Ystradgynlais | 2 | 10 | 0 |
| " Tabernacl, Cwmamman | 6 | 6 | 0 |
| " Lodge, Sir Fflint | 2 | 6 | 7 |
| " Treffynnon, Sir Benfro | 1 | 19 | 7 |
| " Rock Ferry | 1 | 1 | 6 |
| " Fflint | 1 | 2 | 1 |
| " Ffynnongroyw | 4 | 11 | 7 |
| Plant W. P., Brigydon, Penmaenmawr, at wasanaeth y Parch. R. Evans | 0 | 10 | 9 |
| Treorki | 1 | 16 | 9 |
| Anne a William Lewis, Llanbedr, Meirionydd | 5 | 0 | 0 |
| Offrwm diolch am adferiad o gystudd | 1 | 0 | 0 |
| Blwch Cenadol M. C. Jones, Saxon st. | 6 | 5 | 7 |
| Lombard street (ychwanegol) | 1 | 18 | 9 |
| Sir Gaerfyrddin, trwy law Mr. Havard, y Trysorydd Sirol | 57 | 16 | 0 |
| Casglwyd gan Miss Maria Lewis, Newport Mon | 0 | 10 | 0 |
| Casglwyd gan Miss C. Lewis, Swansea | 0 | 10 | 0 |
| Sir Fflint (ychwanegol) trwy law Mr. W. Jones, Wrexham, y Trysorydd Sirol | 97 | 4 | 8 |
| Trefaldwyn Isaf, trwy law Mr. John Jehu, y Trysorydd Sirol | 110 | 0 | 0 |
| Sir Frycheiniog, trwy law Mr. H. Davies, y Trysorydd Sirol | 44 | 1 | 0 |
| Casglwyd gan M. E. Owen, Penygarnedd | 0 | 5 | 3 |
| Twyn Carno, Sir Fynwy | 4 | 13 | 0 |
| Henaduriaeth Lancashire | 64 | 19 | 3 |
| Mr. D. J. Daniel, Swansea, i Shillong | 0 | 5 | 0 |
| Walton Park, Liverpool | 3 | 3 | 10 |
| Casgliad y Plant, Tyddewi | 3 | 0 | 0 |
| Eto Engedi, Caernarfon | 1 | 10 | 0 |
| Capel Holloway, Llundain | 1 | 10 | 0 |
| Casglwyd gan Willie Stephens, Llechryd | 0 | 3 | 0 |
| Casglwyd gan ferched ieuainc yn Aberaeron | 0 | 16 | 3 |

---

D.S.—Gellir cael Tocynau i gasglu at y Genadaeth, Blychau Cenadol, Tocynau a Rheolau Cymdeithasau y Merched, ond ymofyn â'r Ysgrifenydd.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 620.] MEHEFIN, 1882. [LLYFR LII.

## ADFYWIAD CREFYDDOL: YR ANGHENRHEIDRWYDD AM DANO, A'R MODDION I'W HYMARFER ER EI GAEL.

GAN Y PARCH. WILLIAM ROWLANDS, CEFNYWAEN, EBENEZER, ARFON.

MAE y testun yn un sydd yn meddu ar ddyddordeb arbenig yn y dyddiau hyn pan y mae mesur helaeth o ddeffröad crefyddol mewn amrywiol fanau yn ein gwlad, ac mewn lliaws o amgylchiadau ychwanegiadau pwysig at nifer yr eglwysi ymhlith y gwahanol enwadau crefyddol.

Nis mynem er dim edrych yn isel ar yr hyn sydd eisoes wedi cymeryd lle yn ein plith, ond yn hytrach dylem lawenhâu a bod yn ddiolchgar i Dduw, a chymeryd cysur, am iddo fod yn foddlawn i'n gweddïau, ac ymweled â ni i'r graddau y mae yn gwneyd yn y dyddiau hyn; a gobeithiwn nad ydyw yr hyn a gawsom eisoes ond ernes o bethau mwy grymus ac effeithiol nag yr ydym wedi eu cael hyd yn hyn. A sicr ydyw mai trwy iawn werthfawrogiad ac iawn ddefnyddiad o'r hyn a gawsom yn barod y gallwn ddysgwyl ymweliad mwy grymus ac effeithiol. Er hyny dylem gadw mewn cof nad ydyw pob cyffröad yn adfywiad, na phob ychwanegiad at nifer ein heglwysi bob amser yn ychwanegiad at eu nerth a'u bywyd ysbrydol. Ni chwennychem i neb dybied ein bod, trwy ddywedyd fel hyn, yn meddwl, nac yn awgrymu, cymhwyso y sylw hwn at yr hyn sydd yn cymeryd lle yn ein plith yn y dyddiau hyn; ond ni a ddylem fod ar ein gwyliadwriaeth yn wastadol rhag ymfoddloni ar y cyffro a'r llwyddiant allanol heb ei fod yn cael ei ddilyn gan gynnydd cyfatebol mewn bywyd, nerth, a gweithgarwch ysbrydol. Yr oedd yr olygfa ar fynydd Horeb, pan yr oedd Elias yn ymguddio yn yr ogof, yn olygfa dra chyffrous. Bu gwynt mawr a chryf nes rhwygo y mynyddoedd, "ond nid oedd yr Arglwydd yn y gwynt." Wedi y gwynt bu daeargryn, "ond nid oedd yr Arglwydd yn y ddaeargryn." Wedi y ddaeargryn bu tân, "ond nid oedd yr Arglwydd yn y tân." Wedi y tân bu llef ddystaw fain. Ni ddywedir mewn geiriau pa un a oedd ai nad oedd yr Arglwydd yn y llef ddystaw fain; ond ceir fod yr Arglwydd ynddi, canys yr oedd ynddi nerth,—nerth a gododd y prophwyd ar ei draed ac a'i dygodd allan o'i ymguddfa, ac a adnewyddodd ei ymroddiad i wasanaethu ei Dduw gyda mwy o wroldeb a phenderfyniad nag o'r blaen. Yr hyn sydd annhraethol bwysig i ninnau ydyw, pa un bynag ai ychydig ai llawer fyddo y cyffro, i ni deimlo fod yr Arglwydd yn llefaru bywyd adnewyddol i'n hysbrydoedd, ac yn ychwanegu ein nerth i'w wasanaethu.

Fod arnom angen y fath adfywiad sydd amlwg. Nid rhaid i ni i weled hyn ond ystyried ein sefyllfa grefyddol yn bresennol. Ni a nodwn rai ystyriaethau ag sydd yn cyfodi o sefyllfa ysbrydol ein heglwysi, sydd yn dangos yr anghenrheidrwydd am adfywiad crefyddol.

1. Sefyllfa isel profiad ysbrydol o wirioneddau yr efengyl ymysg proffeswyr crefydd. Addefir hyn genym trwy'r blynyddoedd fel arwydd o ddirywiad crefyddol; ac y mae yn ddiffyg mawr a chyffredinol. Y mae lliaws mawr yn ein heglwysi yn byw, os pri-

odol ydyw dywedyd eu bod yn byw hefyd, ar eu hofnau a'u hammheuon. Dywedir mai ammheuaeth *(scepticism)* ydyw afiechyd mawr yr oes hon. Dyna afiechyd y byd, a dyma hefyd yr afiechyd sydd yn bwyta nerth ac yn difa bywyd ysbrydol ein heglwysi: rhodio yn alarus gan orthrymder y gelyn; rhodio mewn tywyllwch ac heb lewyrch iddynt. Os gofynir i'r rhan fwyaf o broffeswyr crefydd am seiliau eu ffydd a'u gobaith, nis gallant gyfeirio at ddim neillduol. Rhyfedd hefyd fod pobl sydd yn proffesu ffydd yn Nghrist a'u cariad tuag ato, mor wan gan eiddilwch ysbrydol fel nas gallant ymaflyd yn ei eiriau a'u cymhwyso atynt eu hunain, er mwyn sugno i'w hysbryd y bywyd a'r nerth sydd ynddynt! Nid yn unig nis gallant ddywedyd y gwyddant i bwy y maent yn credu, ond nis gallant ddywedyd profiadau llawer haws a nês atynt, megys, "Yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni." Dyma ydyw sefyllfa dlawd a gresynus lliaws yn ein heglwysi. Bu rhai o'r cyfryw gynt yn profi pethau grymus, yn mwynhâu gorfoledd yr iachawdwriaeth, ac yn llawenychu yn mlynyddoedd deheulaw y Goruchaf. Nid oes a'n cyfyd o'r sefyllfa isel hon ond adfywiad crefyddol —tywalltiad o'r Ysbryd Glân yn ei ddylanwadau bywiol ac iachusol. "Pan ollyngech dy Ysbryd, y creuir hwynt, ac yr adnewyddi wyneb y ddaear." Er mai am y greadigaeth naturiol y llefara y salmydd yna, eto y mae ei eiriau, ni a gredwn, yn dra chymhwysiadol at y greadigaeth newydd. Dyma yr adfywiad y mae arnom angen am dano: adfywiad a'n cyfodo i sylweddoliad mwy clir o wirioneddau yr efengyl, ac a roddo i ni brofiad mwy dwfn o'u cysur a'u nerth.

2. Mae adfywiad crefyddol yn anghenrheidiol i'n dyrchafu i fyw bywyd mwy sanctaidd a phur. Addefir yn gyffredinol fod y byd a'r eglwys wedi dyfod yn llawer nês at eu gilydd, o ran bywyd moesol ac ymarweddiad allanol, nag yr oeddynt yn nyddiau ein tadau. Y mae hyn i'w briodoli i raddau helaeth i ddylanwad iachusol crefydd a'i gwirioneddau ar feddyliau dynion nad ydynt eto wedi dyfod i'w phroffesu. Nid ydyw hyny yn achos o dristwch, ond yn hytrach o lawenydd. Ond y mae gwirionedd arall ag y mae yn rhaid i ni ei gydnabod, a'i gydnabod gyda galar a thristwch: fod yr eglwys mewn llawer o'i haelodau wedi ymlithro o ran buchedd i safle y byd. Mae dynion i'w cael yn ymarfer âg ordinhadau crefydd yn y moddion cyhoeddus ag sydd o ran eu cymeriad moesol, a dyweyd y lleiaf, yn ammheus; dynion yn gallu byw ymhob lle, yn gallu mwynhâu pob math o gwmni, a chymeryd rhan mewn ymarferiadau sydd, mewn ystyr foesol, yn dragywyddol bell oddiwrth eu gilydd. "Ni ddylai y pethau hyn fod felly." Gallai y dywedir wrthym mai eithriadau ydyw pobl o'r fath yn ein plith. Addefwn yn rhwydd mai eithriadau ydynt; ond ofnwn fod eu bodolaeth fel eithriadau yn dangos fod tuedd gref mewn llawer o grefyddwyr y dyddiau hyn at lacrwydd moesol sydd yn bell o fod yn gydweddol â'r sancteiddrwydd a'r purdeb a argymhellir yn y Bibl ar ddilynwyr yr Arglwydd Iesu.

Ar adegau isel ar grefydd, ofnwn mai y cwestiwn mwyaf pwysig gan lawer yn ein heglwysi ydyw, nid pa fodd i ymgadw yn ddigon pell oddiwrth arferion a chwmnïau bydol a llygredig—pa fodd i ymgadw yn ddilrycheulyd oddiwrth y byd, ond yn hytrach pa mor bell y gallant fyned yn y cyfeiriadau hyn a chadw i fyny eu cysylltiad â chrefydd. A rhaid addef fod rhai yn gallu myned ymhell iawn yn y cyfeiriadau hyn, pellder nas goddefid yn nyddiau ein tadau, a phellder, mae yn rhaid i ninnau addef, nad ydyw o un fantais i grefydd bersonol y rhai y cyfeirir atynt, nac i lwyddiant gwir grefydd yn yr eglwysi y perthynant iddynt. Dywed un o'r prophwydi am Israel yn ei ddyddiau ef, yr hyn a ofnwn sydd wirionedd am lïaws o grefyddwyr Cymru yn y dyddiau hyn, "Eu calon a ymranodd;" wedi ei rhanu rhwng y byd a chrefydd —rhwng ymarferiad ffurfiol âg ordinhadau crefydd a mwynhâd o bleserau gwag y bywyd presennol.

Er ein cyfodi o'r sefyllfa isel hon, a dyrchafu ein meddwl i ymgyrhaedd at fywyd purach a mwy didoledig oddiwrth y byd, rhaid i ni wrth adfywiad, wrth fywyd newydd, ail ras, ac ymweliad drachefn, mewn trefn i'n puro a'n glanhâu fel y dygom fwy o ffrwyth. Yn nghrefydd yr Arglwydd Iesu Grist y cawn y cymhellion uchaf, a mwyaf

pur ac anhunanol, i fywyd moesol: cariad Crist, a bywyd Crist. Mae "cariad Crist yn ein cymhell ni," ac efe a "adawodd i ni esiampl fel y canlynem ei ôl ef." Moesoldeb oer, heb ynddo ond graddau bychain iawn o gydymdeimlad, ydyw moesoldeb penaf y byd. Onid ydym wedi gweled yn fynych mai y dynion mwyaf moesol, os heb grefydd, ydynt y dynion caletaf a mwyaf dideimlad a hunangar. Ond moesoldeb yn gwreiddio yn nghariad Crist, ac yn derbyn ei nerth a'i wres o'i Berson a'i gyfryngdod ef, ydyw moesoldeb crefydd. Y mae yn ein gwneyd fel Efe. Ni bu neb ar y ddaear erioed a ddangosodd gymaint o gydymdeimlad â phechaduriaid âg Iesu Grist, na neb mor bell oddiwrth y cydymdeimlad lleiaf â phechod. Yr oedd yn "gyfaill publicanod a phechaduriaid," ac ar yr un pryd "y dihalog a'r didoledig oddiwrth bechaduriaid." A thrwy gyfranogiad mwy helaeth o'i Ysbryd ef y deuwn ninnau i feddu mwy o debygolrwydd iddo yn ei gymeriad gogoneddus.

3. Y mae yr anghenrheidrwydd am adfywiad crefyddol yn ymddangos pan ystyriom pa cân lleied o lafur a gweithgarwch crefyddol sydd yn ein plith. Mae llawer o weithgarwch yn cael ei ddangos gydag achosion allanol crefydd, a llawer o waith yn cael ei wneyd, a hwnw yn ffrwyth y gras o haelioni yn yr eglwysi. Y mae hyn yn dda a chanmoladwy, a dylem ddiolch i'r Arglwydd am dano. Ond po agosaf yr awn at yr ysbrydol ynglŷn â gweithgarwch crefyddol, lleiaf yn y byd ydyw y parodrwydd a geir i ymgymeryd â'r gwaith. Y mae rhanau o waith yr Arglwydd nad ydyw nifer lliosog o'n haelodau eglwysig erioed wedi meddwl fod un rwymedigaeth arnynt i ymgymeryd â hwynt o gwbl. Dylem gofio yn wastad fod rhwymedigaeth ar bob un sydd yn proffesu enw Crist i wneyd pob ymdrech yn ol eu gallu a'u cyfleusderau er dwyn dynion ato ef.

Mae ymhob cymydogaeth, y mae lle i ofni, rai ag sydd yn byw yn hollol annuwiol a digrefydd, yn cwbl esgeuluso moddion gras; ac y mae eraill, er dyfod i'r moddion gyda mwy neu lai o gysondeb, yn byw yn hollol annuwiol. Pa beth a wneir genym tuag at gael y dosbarth cyntaf a enwyd i sŵn yr efengyl? A pha beth a wneir i geisio deffroi y rhai difraw, "y rhai sydd yn gwrandaw bob amser heb un amser ddyfod i wybodaeth y gwirionedd?" Ofnwn mai ychydig iawn a wneir yn y naill gyfeiriad na'r llall gyda nifer lliosog, os nid yn y mwyafrif, yn ein heglwysi. Mae y syniad yn rhy gyffredinol yn ein plith mai gwaith y bugeiliaid a'r swyddogion eglwysig ydyw y gwaith o fyned i geisio y colledig, ac arwain y crwydriaid i dŷ. Ond dengys y Bibl yn eglur ei fod yn rhwymedigaeth ar bob un sydd yn proffesu crefydd Iesu Grist, yn ol eu galluoedd a'u cyfleusderau, yn llawn cymaint ag ydyw o waith swyddogion eglwysig. "Fy mrodyr, od aeth neb o honoch ar gyfeiliorn oddiwrth y gwirionedd, a throi o RYWUN ef, gwybydded y bydd i'r hwn a drôdd bechadur o gyfeiliorni ei ffordd gadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau." Y mae'r diffyg amlwg o'r teimlad o'n rhwymedigaeth i ymgysegriad llwyr i wasanaeth yr Arglwydd, trwy ymdrechu ymhob modd i ennill dynion at Grist, yn brawf sicr o farweidd-dra ysbrydol, ac yn dangos yn eglur yr anghenrheidrwydd am adfywiad crefyddol. Beth pe deffroid holl aelodau eglwysig y Methodistiaid drwy Gymru i ymdeimlo â'u rhwymedigaeth i lwyr ymgysegriad i waith yr Arglwydd yn hyn? buan y caem weled gwêdd newydd ar ein heglwysi, ac ar y wlad yn gyffredinol. Deuai yr anialwch a'r anghyfanneddle i lawenychu, a'r diffeithwch i orfoleddu ac i flodeuo fel rhosyn; y crasdir yn ddoldir, ac wyneb y ddaear yn adnewyddedig. Dyma yr adnewyddiad y mae arnom fawr anghen am dano; ac heb ddwyn y ffrwythau hyn nis gallwn edrych ar unrhyw gyffro yn adfywiad crefyddol.

Syniad llawer yn ein plith ydyw mai cael rhyw fath o hwyl orfoleddus yn yr addoliad cyhoeddus, ac arddangosiadau o deimlad cyffrôus, ydyw adfywiad crefyddol; ac os ceir hyny, ymfoddlonir ynddo. Ond pa mor werthfawr bynag ydyw y pethau hyn, os na welir ffrwyth mwy parhâol yn tarddu allan mewn profiad dyfnach o wirioneddau yr efengyl, ac mewn ymarweddiad ag a fyddo yn harddu athrawiaeth ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist, ac mewn llwyr ymgysegriad i waith yr Arglwydd Iesu, byddwn heb gael yr hyn a ystyriwn yn anhebgorol

anghenrheidiol mewn adfywiad crefyddol. Dyma yr adfywiad y mae arnom fawr anghen am dano, adfywiad o'i gael a fyddai yn fywyd o feirw i lawer o'n heglwysi. Deued fel y delo, y pryd ac yn y ffurf y delo, fe rydd wedd ar ein gwlad a'n heglwysi nas gallai neb ei roddi ond Ysbryd yr Arglwydd.

Am y moddion i'w hymarfer tuag at ei gael, teimlwn raddau o betrusder gyda golwg ar pa beth i'w ddywedyd yn benodol. Dymunem gyflwyno ychydig o awgrymiadau a allent fod o ryw wasanaeth i ni yn hyn.

1. Yn gyntaf oll, ymostyngiad edifeiriol ger bron Duw mewn cyffesiad o'n diffrwythdra a'n marweidd-dra, ein pechodau, a'n byw pell oddiwrtho. Bydded i hyn fod yn gyntaf ac yn benaf hefyd yn y dirgel, yn ein hymarferiadau personol: pob un o honom ger bron yr Arglwydd, a phob un o honom â'i law ar bla ei galon ei hun. Sylweddolwn yn bersonol beth yw ymostwng ger bron yr Arglwydd. Y mae genym bob rheswm ynom ein hunain dros wneyd hyn, a phob cymhelliad i hyn yn ngraslonrwydd a thosturi ein Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. I ba le y mae yr ymwybyddiaeth o'n diffrwythder drwy y blynyddoedd, ein bydolrwydd, a'n difaterwch, yn ein cyfeirio er cael ymwared o honynt? onid i'r man y mae ein Tad nefol yn ein gwahodd? Onid at ei orsedd rasol? Bydded i ni fyned yno bob un drosto ei hun. Pan y deuwn i'r agwedd yma, byddai yn ddechreuad adfywiad gwirioneddol. Mae yr ymostyngiad hwn i fod, heblaw yn un personol, yn un eglwysig hefyd.

Fel un moddion er cael adfywiad, bydded i ni yn yr eglwysi ymdrechu dwyn ein gilydd i gydymuno yn yr un teimlad edifeiriol ger bron yr Arglwydd. Dyna fel y gwnai yr eglwys Iuddewig. Pan y byddent wedi gadael yr Arglwydd, yr arwydd cyntaf o'i fod yn dychwelyd atynt, a hwythau ato ef, a fyddai fod y bobl yn ymostwng ger ei fron yn bersonol, yn deuluaidd, ac yn eglwysig. Gwnawn ninnau yr un modd, gan "gyffesu yn ein herbyn ein hunain ein hanwireddau i'r Arglwydd."

2. Ymgydnabyddwn âg addewidion yr Arglwydd i ymweled â'i bobl, fel y gallom eu dadleu yn ein gweddïau o'i flaen. Clywir cwyn weithiau fod rhy fychan o Fibl yn ein pregethau. Pa un bynag ai cywir ai anghywir ydyw y cyhuddiad, onid allem ofyn, Ai nid oes llawer rhy ychydig o Fibl yn ein gweddïau? Yr ydym yn credu fod llawn cymaint o anghenrheidrwydd am fod yn gydnabyddus â'r Bibl i weddïo yn briodol, gweddïo mewn ffydd, ag sydd i fod yn gydnabyddus â'r Bibl i bregethu. Nis gallwn iawn weddïo am gyflawniad o'r addewidion heb ymgydnabyddu â hwynt, ac heb feddu rhyw syniad am eu cynnwys gogoneddus. Gwnawn hyn eto yn bersonol yn gyntaf, ac yna yn deuluaidd ac yn eglwysig. Pa fodd y gallem dreulio ein cyfarfodydd eglwysig yn well ar lawer adeg na thrwy adrodd yn nghlywedigaeth ein gilydd y cyflawnder o addewidion mawr iawn a gwerthfawr sydd yn ngair yr Arglwydd, a cheisio dwyn ein gilydd i sylweddoli eu cynnwys? Mae yn y Bibl gyfoeth o addewidion nad oes ei fath ond yn unig eu cyfoeth hwy eu hunain. Wedi eu gwybod, a meddu rhyw syniad am eu cynnwys, bydded i ni ymuno â'n gilydd o un ysbryd ac un galon, i'w dadleu ger bron gorsedd gras yn haeddiant yr Arglwydd Iesu; oblegid ynddo ef y maent wedi eu rhoddi i ni, a thrwyddo ef yn unig y cawn gyflawniad o honynt.

3. Tra yn ymostwng yn edifeiriol ger bron yr Arglwydd, a thra yn dadleu ei addewidion yn haeddiant yr Arglwydd Iesu, bydded i ni ymddeffroi at ein gwaith. Nid eistedd i lawr mewn difrawder a diofalwch ydyw dysgwyl wrth yr Arglwydd. Dysgwyl wrtho ef ydyw ymddeffroi o'n cysgadrwydd, ac ymaflyd yn egnïol yn ein holl ddyledswyddau crefyddol. Yn enwedig, bydded i bob un ymgyfodi i ymaflyd yn y rhanau hyny o'r gwaith ag y mae wedi bod yn fwyaf esgeulus o hono. Bydded i ddydd ein pentecost ni, fel dydd y pentecost gynt, ein cael fel y dysgyblion yn gyttûn, gyda ein gwaith, yn coleddu yr un dysgwyliad am gyflawniad o addewid y Tad, ac addewid yr Iesu; a chawn fel hwythau ein llanw â'r Ysbryd Glân. "Canys i ni y mae yr addewid, ac i'n plant, ac i bawb ymhell, cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato."

---

# DYNION YN EISIEU.

*Gan y Parch.* DAVID JONES, *Gwyddelwern.*

MATTHEW ix. 37, 38: "Y cynauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml; am hyny attolygwch i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf."

PAN fydd Duw yn myned i wneyd gwaith mawr, y mae yn anfon gweithwyr—dynion â gwaith ynddynt: dynion, nid cynllun-iau—dynion, nid addoldai—dynion, nid cyfundraethau. Y mae y pethau hyn yn canlyn o anghenrheidrwydd, ac yn parhâu hyd nes y bydd y grym personol â'u galw-odd i fôd wedi gwario ei hunan allan, neu wedi cymeryd rhyw ffurf newydd. Ond rhodd fawr Duw i'r byd ydyw dynion. Taer erfynir y dyddiau hyn am yr Ysbryd Glân yn ol yr addewid; ond pa beth a ddysgwylir wrth erfyn sydd ofyniad ag y ceir iddo amrywiol atebion.

Dengys hanesiaeth mai ffordd gyffredin yr Ysbryd i wneyd gwaith mawr ydyw creu dynion mawr, a phreswylio ynddynt, a gweithredu trwyddynt. Trwy bersonau y mae Duw yn gweithio. "*Chwi* yw goleuni y byd; *chwi* yw halen y ddaear;" nid geiriau, nid athrawiaethau—ond *chwi*. Nid y gwirionedd ynddo ei hun yw y gallu sydd yn gorchfygu, ond y gwirion-edd wedi ei bersonoli: trysor Duw mewn llestr pridd. Ac nid pob math o lestr a wna y tro; rhaid cael "llestr etholedig."

Y mae pob dyn sydd yn ysgwyd y byd yn greadigaeth neillduol. Y mae rhyw gymaint o'r creadigol yn ogystal ag o'r naturiol yn mhawb. I'r graddau y deuwn i fôd trwy gwrs natur, yr ydym yn dwyn delw ein rhieni—yn dwyn delw eu diffyg-ion a'u rhagoriaethau, eu tueddiadau cyn-henid a'u harferion ffurfiedig. Ond y mae yn nghenedliad pob dyn elfen oruwch-naturiol, nas gellir ei holrhain i dad na mam, na chymdeithas, nac esiampl. Yr elfen hon sydd yn rhoddi i ddyn ei neill-duolrwydd—ei *individuality*. Y mae hon yn Ddwyfol. I rai dynion rhoddir gradd helaeth o'r peth anesboniadwy hwn. Pa enw a roddwn arno? y neillduolrwydd, y personoliaeth, y peth rhyfedd, annesgrif-iadwy hwnw sydd yn marcio dyn o'r groth i fod yn allu yn y byd. Y mae nerth a hoewder corff yn fanteisiol iddo, ond nid dyna ydyw. Y mae addysg a diwylliant yn arfau pwrpasol at ei law, ond nid addysg a diwylliant ydyw. Mynych y gwelwyd corachod nychlyd mewn ystyr gorfforol, fel Calvin a William III., yn ysgwyd teyrnasoedd. Prin y gellir nodi dyn diddysg a gyrhaeddodd sefyllfa felly; gwelwyd llawer, oedd yn annysgedig yn ystyr gyffredin y gair, a'i cyrhaeddasant. Y mae y peth hwn yn cyrhaedd ei safle neillduol ei hun, yn ei ffordd ei hun, gan ddangos nad yw yn dibynu ar ffurfiau cyffredin o addysg, mwy nag ar y nerth corfforol a werthfawrogir mor fawr. Ni cheir gwell engreifftiau o hyn nag Ioan Fedyddiwr ac Elias y Thesbiad.

Y peth hwn! yr hyn sydd o dan bob peth arall, yn rhoddi unoliaeth a grym ac ysbryd, a chymeriad i'r cwbl; pa beth ydyw? Onid hwn yw y dyn? Os gofynir paham y rhoddir mwy o ddyn yn y naill nag yn y llall, nid oes genym well ateb i'w roddi na'r hyn a ddywedwyd gan yr Arglwydd Iesu ar fater arall: "Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd yn dy olwg di." Duw sydd yn rhoddi i bob un ddynoliaeth fel y mynodd efe; ac y mae pob dyn sydd wedi ei fwriadu i ysgwyd y byd yn greadigaeth neillduol. Wrth bob un o'r cyfryw y mae Duw yn dywedyd, fel y dywedodd wrth Jeremiah y prophwyd, "Cyn i mi dy lunio di yn y groth mi a'th adnabum; a chyn dy ddyfod o'r groth, y sancteiddiais di; a mi a'th roddais yn brophwyd i'r cenedloedd." Y mae eisieu dynion fel hyn eto. "Am hyny, attolyg-wch i Arglwydd y cynauaf anfon gweith-wyr."

Rhaid i weithiwr wrth arfau. I wneyd gwaith Dwyfol rhaid wrth arfau Dwyfol. Yr arf Dwyfol yw gwirionedd; pob gwir-ionedd yn ei berthynas briodol ei hun â chanolbwynt y gwirioneddau. Gwirion-edd yw y gwregys sydd yn cadarnhâu lwynau dyn; gwirionedd yw y cleddyf â'r hwn y gorchfygir y gelyn; gwirionedd yw y cryman i fedi y cynauaf; a gwirionedd yw y rhwymyn â'r hwn y rhwymir y gwenith yn ysgubau i'w gynnull i ysgubor Duw. Brenin y gwirionedd a bïau y cyn-auaf. Nid oes un gwirionedd yn ddibwys yn ei olwg. Ac nid oes un gweithiwr mewn cyflawn arfogaeth os bydd yn dys-tyru neu yn troi heibio unrhyw wirionedd. Nôd gweithwyr Duw ydyw cariad at wir-ionedd. Ni waeth beth fyddo grym cyn-henid dyn,—nis gall neb fod yn weithiwr i Dduw os na bydd yn plygu i awdurdod y gwirionedd, ac yn llosgi gan zêl drosto. Yn unol â hyn yr ydym yn cael fod pob dyn a wnaeth argraff barhâus ar y byd wedi derbyn argraff y gwirionedd yn ddwfn ar ei galon ei hun yn gyntaf. Y mae pob milwr a ennillodd fuddugoliaethau mawr yn y byd moesol ac ysbrydol wedi bod yn hir ymarfogi yn nhŷ arfau y gwirionedd. Un o nodau amlycaf y dynion a enfyn Duw i'r byd i wneyd gwaith mawr ydyw eu hawydd anniwall yn more oes i wybod y gwirionedd.

Mynych y dannodir i bleidwyr athro-feydd mai pysgodwyr annysgedig oedd y dysgyblion cyntaf. Digon gwir; ac mor wir â hyny, pysgodwyr, ac amaethwyr, a

masnachwyr, a chwarelwyr, rhai annysgedig, ydyw mwyafrif mawr dysgawdwyr yr eglwys eto—*cyn eu galw*. Ond pan y galwyd y deuddeg i roi heibio eu gorchwylion bydol, ac i ddilyn yr Athraw, fe'u galwyd i'r athrofa; ac yn yr athrofa y buont dair blynedd. Pa gwrs athrofäol tebyg i dreulio tair blynedd yn nghymdeithas yr Ymchwiliwr manylaf, y Sylwedydd craffaf, y Meddyliwr dyfnaf, y Gweithiwr caletaf, a'r cymeriad puraf yn holl hanes y byd? Ond er i'r pysgodwyr ymchwilgar hyny gael y fraint o dreulio tair blynedd gyda'r Athraw mawr ar ol cyrhaedd oedran, nid oedd hyny yn dadwneyd anfanteision bore oes. Pa mor uchel bynag y dringodd yr un ar ddeg—ac am yr ieuengaf o honynt, yr hwn hefyd oedd y dyfnaf fel meddyliwr yn eu mysg, y mae lle i gasglu oddiwrth y ffaith ei fod yn adnabyddus gan yr archoffeiriaid, yn ogystal ag oddiwrth ei ysgrifeniadau, nad oedd efe yn amddifad o addysg uchelryw; eto y mae y ffaith yn aros mai y dyn a osododd ei farc amlycaf ar yr yr Hen Destament oedd Moses, yr hwn o'i febyd oedd ddysgedig yn holl ddoethineb yr Aipht. Un o'r rhai nesaf ato oedd Samuel, sylfaenydd ysgolion y prophwydi, yr hwn o'i febyd a ddygwyd i fyny yn Siloh. A'r un a osododd ei farc amlycaf ar y Testament Newydd, yn nesaf at yr Arglwydd Iesu, ydoedd Saul o Tarsis, yr hwn o'i febyd oedd ddysgedig yn holl ddoethineb Rhufain, ac Athen, a Jerusalem.

Y mae'r Duw sydd yn creu dynion at waith neillduol yn gofalu am eu harwain o'u mebyd, trwy ddirgel ffyrdd, ar hyd y cwrs anghenrheidiol o addysg i'w cyfaddasu at waith mawr eu bywyd. Y mae yr hwn sydd yn creu mewn dynion neillduol syched angerddol am wybodaeth, yn eu harwain hefyd at y ffynnonau grisialaidd i ddiwallu eu syched. Felly y cawn Origen ac Awstin yn yr Eglwys gyntefig; Anselm ac Aquinas yn y Canol-oesoedd; Luther, Calvin, a Melancthon, yn amser y Diwygiad Protestanaidd; a holl arweinwyr y Diwygiad Methodistaidd yn y ganrif ddiweddaf. Siarada rhai am y Methodistiaid cyntaf fel pe na buasent oll ond pobl gyffredin, anwybodus, ac annysgedig. Felly yn ddiau yr oedd toraeth y cynnulleidfäoedd, am mai "pregethu i'r tlodion" ydoedd arwyddair eu harweinwyr. Ond am yr arweinwyr eu hunain, yr oeddynt oll wedi derbyn manteision addysg o'u mebyd, wedi graddio yn y Prifysgolion, amryw o honynt wedi derbyn yr anrhydedd o fod yn *Fellows*, a rhai yn athrawon. Cewri oedd ar y ddaear yn y dyddiau hyny; ac y mae yn ffaith hanesyddol fod Methodistiaeth, ar ol marwolaeth y cewri cyntaf, wedi syrthio i ddwylaw llai; llai o nerth, llai o wybodaeth, a chyfyngach o ysbryd ac o farn. Y canlyniad naturiol ydoedd oes o ymgecru, a llawer o wyro oddiwrth symledd y gwirionedd. Diau fod y rhai llai hyn yn ddynion Duw ac yn filwyr dewr; ond nid oeddynt wedi cael cyfle i aros am ddigon o hyd yn nhŷ arfau y gwirionedd, nac wedi ennill craffder digonol i adnabod cyfeiliornad yn ei holl agweddau. Y mae arnom eisieu cewri eto. Nis gall mil o ddynion cyffredin da wneyd gwaith y cewri. "Y cynauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml; am hyny attolygwch i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf;" gweithwyr wedi eu creu, gweithwyr yn meddu cariad cynhenid at wirionedd; gweithwyr wedi eu cymhwyso trwy gwrs rhagluniaeth i wneyd gwaith mawr.

Ond nid yw creadigaeth neillduol, na dysgyblaeth neillduol, yn cynnwys yr oll o anfoniad Duw; ac nid yw yn anmhosibl fod llawer wedi eu galw yn yr ystyr hwn, ond ychydig wedi eu dewis mewn ystyr uwch. Yr oedd Mab Duw yn greadigaeth neillduol o ran ei ddynoliaeth. Yr oedd ei fywyd tawel a chyffredin yn min y mynydd yn Nazareth yn rhoi y cyfleusdra goreu i'w feddwl hollgyfoethog Ef ymddadblygu. Yr oedd yr holl bethau hyn yn llwybr yr anfoniad; ond ar ol deng mlynedd ar hugain o feddylgarwch a dysgyblaeth yn Nazareth dlawd yr anfonwyd ef yn ffurfiol at waith mawr ei fywyd. Ar ol iddo gyrhaedd oedran gŵr y disgynodd Ysbryd Duw fel colomen, ac yr arosodd arno ef. Yn ngrym yr anfoniad hwnw y dechreuodd bregethu yn y pentref lle y magesid ef, gan ddywedyd, "Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy enneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb, i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd." Yr oedd yr anfoniad a gafodd yr Iesu trwy ddisgyniad yr Ysbryd arno pan yn ddeg ar hugain oed yn ddechreuad cyfnod newydd yn ei hanes. Nid oedd yr Iesu, ni a welwn, yn eithriad yn hyn; yn hytrach, yn hyn, fel ymhob peth arall, "efe a ddylai fod yn gyffelyb i'w frodyr." Fel dyn yr oedd yn gyffelyb i bob dyn, ac fel gweithiwr yr oedd yn gyffelyb i bob gweithiwr a wnaeth ei farc yn hanes yr eglwys. Y mae rhyw adeg neillduol yn hanes pob gwir weithiwr pan y mae Duw yn ei alw ac yn ei anfon at ei waith. "Trwy ffydd, Abraham, pan ei galwyd, a ufuddhäodd." Er i Moses dybied y gallasai waredu Israel yn ei amser ei hun, bu raid iddo aros amser ac anfoniad Duw. Felly am yr un dysgybl ar ddeg. Ar ol eu galw yn ddysg-

yblion, ac ar ol myned trwy eu tair blynedd addysg, bu raid iddynt brofi beth oedd ing ammheuaeth a gorfoledd sicrwydd; bu raid iddynt ailddysgu eu holl wersi mewn goleuni newydd am ddeugain niwrnod, a gweddïo am ddeng niwrnod ymhellach mewn teimlad o amddifadrwydd a gwendid, cyn iddynt gael eu gwisgo â nerth o'r uchelder, a'u hanfon allan i orchfygu y byd. Felly am yr apostol Paul; felly am Luther a Calvin, a Wesley a Whitefield, a Harris a Rowlands, a Chalmers, a mil mwy y gellid eu henwi. Y mae pob dyn sydd wedi gosod ei farc ar yr eglwys fel gweithiwr wedi myned trwy ryw argyfwng, wedi cael rhyw "dro," wedi myned o dywyllwch i ryw oleuni, ac wedi ei feddiannu â rhyw ysbrydiaeth oedd yn ei wneyd o hyny allan yn ddyn arall: nid bedydd dwfr, ond bedydd tân; nid tro i alw dynion i fod yn saint, ond tro i'w hanfon yn weithwyr i gynauaf Duw. Os myn neb fod yn gydweithiwr â Christ, a chyfranogi o anrhydedd Crist, y mae yn rhaid iddo "yfed o'r cwpan yr yfodd ef o hono," a chymeryd "ei fedyddio â'r un bedydd ag y bedyddiwyd ef." Ac os yw hanes Crist a hanes yr eglwys i fod yn arweiniad i ni, y mae yn rhaid i ni gredu mai cwpan chwerw a bedydd tân ydyw cwpan a bedydd yr anfoniad; ac nid pob math o ddyn duwiol a ddichon yfed o'r cwpan, a chymeryd ei fedyddio â'r bedydd.

Y mae yn lled sicr fod yn Nghymru heddyw rai wedi eu creu yn ddynion neillduol, ac wedi myned trwy ddysgyblaeth ragorol, ond eu bod eto heb eu bedyddio â'r bedydd, heb glywed y llef o'r nef, heb eu hanfon allan gyda nerth ac awdurdod Dwyfol; ac hyd oni ddaw yr anfoniad hwnw, nis gall na synwyr cyffredin, na dynoliaeth gref, na dawn, na dysgeidiaeth, na zêl, na duwioldeb, wneyd gweithiwr. "Am hyny, attolygwch i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf."

---

## MOESGARWCH.

Y MAE y gair moesgarwch, y mae yn eglur, yn tarddu o'r prifair moes,—moesau, moesgar, caru moes, moesgarwch, yr hyn sydd yn golygu ac yn cynnwys moesau da yn yr ymarferiad o honynt.

Anfynych y clywir ac y defnyddir y geiriau moesau na moesgarwch ymysg y werin Gymreig; ond defnyddiant y geiriau Seisonig, *manners*, a *mannerly*, yn eu lle. Paham y rhaid iddynt wneyd hyn nis gwyddom, tra mae y gair Cymraeg yr un mor ystwyth a chynnwysfawr â'r gair Saesoneg.

Y mae y gair moesgarwch *(politeness)*, yn llythyrenol ac yn ymarferol, yn air heb ystyr iddo i liaws o bobl, yn air nad oes ganddynt ond syniad anmherffaith iawn am ei feddwl a'i gynnwys. Ac edrychir ar yr ymarferiad o hono fel peth y gellir yn hawdd ei hebgor, a gwneyd hebddo. Ond camgymeriad yw y dybiaeth; ac y mae pawb sydd yn tybied felly yn camsynied; oblegid yn

1. *Y mae ymddygiad moesgar a boneddigaidd yn brydferth yn mhawb*, ac yn weddus i bawb o bob oedran, gradd, a sefyllfa; ac y mae llawer i'w ennill, a manteision neillduol i'w cyrhaedd, trwy y cyfryw ymddygiad. Pa faint sydd i'w golli nis gwyddom: nid wyf fi yn tybio fod dim, hyny yw, dim sydd dda a phrydferth, yn werth ei gadw. Ond trwy ddiwyllio y meddwl, a choethi y teimlad ymhob modd dichonadwy, y mae dyn yn colli llawer, os nad y cwbl o'i erwinder *(roughness)* cyntefig; ac y mae arfer moesgarwch yn un ffordd effeithiol tuag at ennill y golled ddigolled hono.

Yr hyn a ddeallir genym wrth ymddygiad moesgar, prydferth ydyw, nid y dull ffurfiol a rhodresgar y bydd ambell un yn ei arddangos, ond yr ymddygiad tawel a boneddigaidd sydd yn nodweddu pob person o deimladau llednais, o ddygiad i fyny da, neu un a fyddo wedi diwyllio ei hun trwy lafur ac ymröad personol; mewn gair, yr hyn sydd yn peri i ni deimlo *gartref* ar unwaith yn ei gwmni. Ac y mae yr ymddygiad moesgar a hapus ag sydd yn nodweddu ambell un yn rhoddi iddo dderbyniad i gymdeithas a serchiadau personau na fuasai dyn arall amddifad o'r cyfryw byth yn meiddio anturio ond unwaith hyd yno. Y mae ymddygiad moesgar tuag at eraill yn *safeguard*, yn amddiffynfa effeithiol i ni er ein hamddiffyn rhag sarhâd o unrhyw natur oddiar law eraill, ac yn sicrhâu parch ac edmygedd ein cyd-ddynion. Y mae cenfigen a malais, anniddigrwydd a grwgnachrwydd, yn myned yn llesg a diymadferth ger bron moesgarwch, a phob teimlad pechadurus ac angharedig arall ag y mae dynoliaeth isel a syrthiedig yn ddarostyngedig iddynt yn cael ei lethu a'i ddiarfogi ganddo. Nid anfynych y mae moesau da yn cael eu gwobrwyo yn haelfrydig a thywysogaidd.

Yr ydym yn cofio darllen hanesyn am un o fasnachwyr cyfoethog y brifddinas yn gwobrwyo bachgen tlawd am ei brydlondeb a'i foesgarwch. Bob bore pan ddelai y masnachwr i ddrws ei fasnachdy, yr oedd bachgen bychan yn myned heibio iddo at ei waith, a phob bore yn ei gyfarch yn siriol gyda "*Good morning, sir.*" Ymhen blynyddau bu y masnachwr farw, a gadawodd yn ei lythyr cymyn gyfran helaeth o'i eiddo i'r bachgen hwnw yn

wobr am ei brydlondeb a'i foesgarwch. Bachgen bychan arall, yn un o saith o fechgyn a geisiai dderbyniad i fasnachdŷ, a gafodd ei ddewis a'i dderbyn yn unig am fod ei ddillad yn lân a chryno, ac am ei fod yn dyweyd, "Ië, syr," a "Nage, syr," yn lle "ïe," a "nage," yn unig. Nid yw y rhai hyn ond ychydig o lawer o engreifftiau a allem nodi er dangos fod arfer moesgarwch yn ennill ac nid yn golled.

2. *Dylem arfer moesgarwch gartref yn gystal ag oddicartref*—yn y teulu fel mewn cwmni—yn yr addoldŷ fel yn y palas. Y mae hunanbarch, a pharch i eraill, yn hawlio hyn oddiar ein llaw. Pan elom i gwmpeini, yr ydym yn ystyried y dylem, ac y dysgwylir i ni, ymddwyn mor weddaidd a moesgar ag y gallom; ac felly y dylem wneyd. Ond gynifer o honom sydd ar ol dyfod adref yn dyosg y wisg brydferth hon, ac yn ei gosod i gadw gyda ein dillad goreu hyd ryw dro arall! Paham y gwneir hyn? Onid yw y teulu gartref yn teilyngu cymaint o barch â dyeithriaid? Onid oes gymaint o anghen moesau da gartref ag oddicartref? Yn wir, onid gartref y dylid *dechre dysgu* moesgarwch? Os bydd dyn yn arfer bod yn arw ac anfoesgar gartref, tipyn o gamp ydyw iddo beidio bod felly pan mewn cwmni; rhaid iddo fod ar ei wyliadwriaeth yn barhâus rhag dyweyd neu wneyd rhywbeth o'i le ag a fyddo yn torri rheolau ymddygiad da. Ond i ni arfer moesau da yn y teulu gartref, deuwn i deimlo yn hapus a chartrefol mewn cymdeithas dda oddicartref. Y mae moesgarwch yn cael y lle blaenaf gartref ymysg dosbarth uchaf cymdeithas yn y wlad hon, ac ymysg llawer o'r rhai a elwir yn ddosbarth canol. Ond mor wahanol ydyw ymysg eraill o'r dosbarth hwn, a'r dosbarth nesaf ato! Y mae llaweroedd o deuluoedd yn byw yn hollol esgeulus o'r ddyledswydd o ddysgu moesau da i'w plant gartref. O ganlyniad y mae cannoedd o blant Cymru yn cael eu dwyn i fyny heb ddysgu ond y nesaf peth i ddim moesgarwch. A phan anfonir y cyfryw blant i'r ysgol, i siop, neu i wasanaeth, caiff y meistr neu y feistres y drafferth o'u dysgu i ddyweyd hyd yn nôd "*Thank you*," ac, "Ië, syr," neu "Ië, *ma'm*," pryd y dylasent fod wedi dysgu mwy na hyny *gartref*. Mor fynych y mae plant yn cael eu goddef i ddyweyd wrth eu mam, "Mam, rhowch i mi frechdan?" pryd y dylasent gael eu dysgu i ofyn, "Mam, a welwch chwi'n dda ga i frechdan?" ac i ddyweyd, *Thank you*, neu, Diolch i chwi, wrth gymeryd pobpeth o law un arall, yn lle ei gipio fel y cipia ci damaid o law dyeithrddyn. Yn wir, y mae creaduriaid direswm, megys y ci a'r gath, yn fwy hynaws a moesgar mewn ambell deulu na'r plant a'r penteulu mewn ambell dŷ. Oni chlywsom John yn dyweyd wrth ei wraig, mewn llais garw, awdurdodol, "Mary, estynwch y bibell yna i mi?" Do, lawer gwaith. Oni fuasai yn llawer mwy rhesymol a dymunol i Mr. Jones *ofyn* i Mrs. Jones, "A welwch chwi yn dda," &c. Dylid arfer yr holl fân bethau hyn gan bob aelod o'r teulu. Ond gan nad ydyw moesgarwch yn cael sylw priodol gan rieni, a'i ddysgu i'r plant gartref, pa ryfedd ein bod yn cael plant mor anhydrin, ystyfnig, ac anufudd wedi yr elont oddicartref? Mor fynych yr ydym yn cael fod dysgu *manners* i ambell un yn ormod gorchest i ni allu ei chyflawni; a phaham? am fod y plentyn wedi cael gormod o'i ffordd ei hun, a'i esgeuluso yn y dechre, ac wedi myned bellach yn rhy ystyfnig a hunandybus i gymeryd ei ddysgu gan na meistr na meistres. Byddai yn fuddiol i ni gadw mewn cof fod moesgarwch yn addurn prydferth ar hen ac ieuanc; ac ni ddylid goddef i neb o'r teulu ymddwyn yn anfoesgar nac arfer geiriau isel ac ymddyddanion anaddas yn y teulu; oblegid, "Y mae ymddyddanion drwg yn llygru moesau da."

Yr ydym yn meiddio awgrymu fod diffyg ymddygiad moesgar a lledneis y naill tuag at y llall yn un achos uniongyrchol fod cynifer o briodasau yn profi yn anghysurus ac annedwydd; fod cynifer o wŷr a gwragedd yn cweryla â'u gilydd. Y mae aml ddyn i'w gael ag sydd yn burion dyn ond cadw yn ddigon pell oddiwrtho. Os ewch yn rhy agos ato, cewch deimlo ei fod yn debyg i'r fïeren—yn bigog. Dichon y byddai yn ddoeth i ambell wraig drallodus gofio "fod ffordd i lyfu'r fïeren;" a'r ffordd i drin dyn felly ydyw bod yn ddigon moesgar tuag ato; cadw moesgarwch yn ddigon o *distance* rhyngddynt. Felly y mae moesgarwch yn un *safeguard* werthfawr rhwng gŵr a gwraig rhag arfer gormod hyfdra y naill at y llall. Y mae gormod hyfdra yn arwydd o ddiffyg parch, ac o ddiffyg parch y mae diffyg moesgarwch, a'r diffyg hwn yn arwain i gwerylon poenus a diddiwedd. Y mae rhai yn tybio, os bydd iddynt ddangos parch i arall, neu ymddwyn yn foesgar at arall, fod hyny yn golygu fod yr un arall hwnw uwchlaw iddo ef, a'i fod yn gosod ei hunan islaw iddo trwy hyny; ond y mae y gyfryw dybiaeth yn gyfeiliornus, oblegid y rhai sydd wedi dysgu moesau da eu hunain ydyw y rhai a fedr ymddwyn yn foesgar at eraill; ac y mae y cyfryw rai wrth barchu eraill yn parchu eu hunain yr un pryd.

3. *Y mae ymddygiad moesgar mewn cwmni yn beth dymunol iawn*, ac yn beth

y dylem ymgyrhaedd ato ac ymberffeithio ynddo. Wrth y gair cwmni yr ydym yn golygu bod yn nghymdeithas arall o ddamwain neu trwy wahoddiad. Nid yw o un gwahaniaeth pa un ai ychydig ai llawer fyddo rhif y cwmni. Nid ydym yn rhyfygu gosod i lawr reolau ymddygiad da mewn cwmpeini, ond yn unig sylwi ar rai o nodau amlycaf moesgarwch, yn ei wahanol gysylltiadau, a'r arwyddion o ddiffyg o hono.

Pan fyddom mewn cwmni, dylai pob un gadw ei hunan o'r golwg gymaint ag a allo, gan gofio nad ydyw, tra yno, ond un o lawer. Y mae ymddygiad naturiol a dirodres yn brydferth ymhob man; ac y mae gallu ymddwyn yn rhydd a dirodres ymhob cylch yn un prawf o ddygiad i fyny da, yn gystal ag o deimlad a meddwl annibynol. Mor wahanol y synia rhai pan y tybiant mai coegni a mursendod sydd yn cyfansoddi moesgarwch! Y mae pob dyn, mab neu ferch, o synwyr a dysgeidiaeth, yn ffieiddio iaith ac ymddygiad rhithfoesgar a dirmygedig o'r fath yma. Nid yw y dyn moesgar byth yn canu nac yn darllen pan mewn cwmni heb i rywun yno geisio ganddo wneyd hyny; ac os gofynir iddo wneyd un o'r ddau, nid yw yn gwrthod os gall wneuthur hyny yn dda. Os bydd llythyr ganddo ag eisieu ei ddarllen, gall wneyd hyny ond gofyn caniatâd.

Un arwydd o ddiffyg moesgarwch ydyw peidio ateb pan fyddo rhywun yn gwneyd rhyw sylw wrthym, ac ateb cwestiwn a ofynir i un arall. Mae y dyn moesgar yn gwrando ar un arall yn siarad am rywbeth y mae efe ei hun yn gwybod am dano yn llawer gwell, o bosibl, na'r llall; eto nid yw yn siarad ar draws neb, fel y bydd llawer yn euog o wneyd, nac yn dechre siarad nes i arall orphen siarad, yr hyn sydd yn drosedd pendant ar ddeddfau moesgarwch. Y mae siarad uchel a chwerthin uchel yn nôd amlwg o ddiffyg moesgarwch a diffyg dysg. Ac eto mor fynych y troseddir y rheolau syml hyn, a hyny yn fynych gan rai a dybiant eu bod yn ddysgedig a doeth!

Nid yw y dyn moesgar byth yn sylwi nac yn hylldremu ar ryw ddiffyg neu hagrwch a ddichon fod ar un o'r cwmni, llawer llai gwneyd sylw o hono; yn wir, nid yw yn cymeryd arno ei weled. Nid yw ychwaith yn chwerthin am ben anwybodaeth neu gamgymeriadau rhai eraill; ac ymdrecha hyd y gall guddio pob gwahaniaeth a ddichon fod rhwng ei sefyllfa ef a sefyllfa y rhai y dygwydd iddo fod yn eu cwmni. Pan wahoddir ni i gwmnïaeth, dylem fod mor gartrefol a hapus ein hymddygiadau ag y byddo modd, ac ymdrechu ymddangos fel pe byddai yr holl barotoadau wrth ein bodd, pa un bynag a fyddant felly ai peidio. Un nodwedd amlwg mewn person wedi cael dygiad i fyny da ydyw ei fod yn gallu gwneyd ei hun yn hapus i bob ymddangosiad yn nghwmpeini pawb, a gwneyd i bawb deimlo yn hapus yn ei gymdeithas yntau.

Arwydd sicr o ddiffyg chwaeth a diffyg moesgarwch mewn dyn ydyw arfer geiriau isel ac aflan, ac adrodd ystoriau ffol a thrwstan, pa rai sydd, ynddynt eu hunain, yn aflednais a gwrthun pan mewn cwmni, neu yn nghymdeithas ac yn nghlywedigaeth merch. Ac os ydyw y pethau ysgymun a dirmygedig hyn *ynddynt eu hunain* yn anaddas i'w henwi na'u hadrodd, pa faint mwy yr edrychir arnynt felly pan yn dyfod oddiwrth bersonau ag y dysgwylir iddynt fod yn gwybod gwell moesau—cristionogion, ei phroffeswyr, ei hathrawon, ei phregethwyr? A goddefer i ni awgrymu yn y fan hon ein bod yn credu fod ysbryd yr efengyl yn dyweyd wrthym, y dylai pob un o honom sydd yn proffesu bod wedi derbyn ei hysbryd hi, fod yn ofalus a gwyliadwrus ar ein geiriau a'n hymadroddion, yn eiu plith ein hunain yn gystal â phan mewn cyfeillach â rhai o'r byd; oblegid yn

1. Y mae dyn, pan yn ymostwng i siarad iaith isel a halogedig, yn darostwng ei hunan yn fawr iawn yn ngolwg ereill, ac yn marn ei gyfeillion.

2. Y mae'r dyn ieuanc sydd yn amcanu gwneyd ei hunan yn fawr yn ngolwg y boneddigesau trwy adrodd chwedlau isel er ceisio eu difyru, yn sicr o fforffetio ffafr ac ymddiried pob merch ieuanc o chwaeth a synwyr. A gwn yr addefa pob dyn gonest a diduedd nad colled ddibwys a bechan ydyw hono. O'r ochr arall drachefn, y mae yn eithaf posibl i un, trwy ymddygiad llednais a boneddigaidd, trwy sylw caredig, a lliaws o bethau dymunol eraill sydd yn nodweddu cymeriad pur, ymhen amser adael argraff ffafriol ar galon bur a didwyll, ac ennill edmygedd a serch dyfnaf yr enaid; a phwy a all brisio gwerth y fendith hon?

3. Ac yn benaf, y mae crefydd yn sicr o fod yn dyoddef oblegid iaith ac ymddygiadau isel ac annheilwng llawer o'i phroffeswyr. Mae llawer iawn o'n haelodau crefyddol yn anghofio y dylai fod gwahaniaeth yn eu siarad hwy ragor siarad rhai dibroffes. Ond er ein gofid, ac er niwed dirfawr i lwyddiant crefydd yn ein mysg, yr ydym yn cael mai yr un a'r unrhyw iaith a arferir gan y naill a'r llall pan yn cydweithio neu yn cydgymdeithasu â'u gilydd. Ac yr ydym yn dyweyd yn y fan hon yr hyn a ddylai gael ei ddyweyd yn fynych wrthym yn y *societies* ac o'r pulpudau—fod yn anghenrheidiol i gristion wrth "*wefus* lân" yn gystal â chalon lân; a ffolineb ydyw i un dyn geisio

gwneyd ei hun yn fawr a bod yn ddoniol wrth adrodd chwedlau isel ac aflednais. Gall wneyd i rai mewn cwmni chwerthin —rhai o'r un chwaeth isel âg ef ei hun; ond pe byddai efe yn sylwi, gallai weled fod yno rai yn *gwrido;* a pha hawl sydd gan fab i beri i ferch wrido gan gywilydd, ac i adrodd pethau anweddaidd yn ei chlywedigaeth?

Gall dyn fod yn foesgar iawn mewn cwmpeini—gall fod y mwyaf *polite* o honynt oll—yn ddigon moesgar ac ystyriol i estyn cadair i bob boneddiges a ddaw i mewn, i'w harwain at y *piano* a throi dalenau ei *music-book,* a llu o fân bethau dymunol eraill ag sydd yn cyfansoddi y "*ladies' man,*" ac sydd hefyd yn bethau dymunol ac yn nodweddiadol o'r boneddwr; ond gall fod, er hyny, y dyhiryn gwaethaf a mwyaf diegwyddor mewn gwirionedd. Nid *am* ei fod mor foesgar y mae yn *villain;* ond gall fod felly *er hyny.* A welsoch chwi erioed bregethwr yn cerdded i wyddfod boneddigesau heb gymaint a chodi ei het? Do; wel, y mae hwn heb ddysgu moesgarwch er ei fod wedi bod yn yr athrofa. Tybiaswn i Miss Jones gyflwyno *(introduce)* Miss Pugh i Miss Lewis, ond siarad â Miss Jones y mae Miss Lewis o hyd; nid yw yn edrych ar Miss Pugh. Byddai cystal i Miss Lewis efrydu "*rules of good conduct*" cyn yr êl i gwmpeini eto. Y mae Mrs. Jones a Mrs. Williams yn ymddangos fel pe yn cael pleser mawr wrth adrodd helynt rhyw gymydog anlwcus, a phigo gwallau merched y fro. Mae un, meddent, yn falch, a'r llall yn afler; un yn caru yn rhy isel, a'r llall yn edrych yn rhy uchel; aeth un i'w phriodi yn rhy ieuanc, ac y mae un arall yn aros yn rhy hir—mae yn siwr o fod yn "hen ferch." Y mae adrodd gwendidau pobl eraill, os gwendidau hefyd, yn beth drwg, heblaw ei fod yn beth difoes iawn mewn *party.*

A welwch chwi William Jones yn pigo ei ddannedd? a dacw ryw Owen neu Williams yn *trimio* ei ewinedd, a Henry Benjamin yn pigo ei drwyn yn syth ar fy nghyfer! Gobeithio na ddaw neb i bigo ei glustiau eto. Gyfeillion, pwy bynag ydych ag sydd yn euog yn wyneb y sylwadau hyn, dylasai y pethau yna gael eich sylw yn eich ystafell wely cyn cychwyn; ac os na chawsoch amser yno, gallasech wneyd ar y ffordd wrth ddyfod, eu gwneyd yn unrhyw fan heblaw mewn cwmpeini a cher bron cynnulleidfa.

Os bydd i ryw rai gymeryd yr ychydig wersi syml hyn i fyny a'u dysgu, bydd amcan cyhoeddiad yr ysgrif anmherffaith hon wedi ei gyrhaedd, sef cael pawb y perthyn iddynt, a llawer eraill o bob gradd, swydd, a sefyllfa yn y byd, i ddiwygio yn hyn o beth. Ond, pwy sydd yn euog o beth fel hyn? Llanciau'r wlad, ebe chwi; rhai na fuont erioed mewn coleg nac *academy,* ac heb fod lawer mewn ysgol. Ië, lawer o honynt; ond aroswch! adwaenwn ambell un (ychydig iawn, rhaid addef) o blith y dosbarth hwn nad ydym yn gwybod iddynt erioed ein tramgwyddo trwy un o'r pethau uchod, na ddywedasant erioed air a fuasai yn peri i ni wrido gan gywilydd; mewn gair, rhai nad ydyw llawer o'r rhai a gawsant ac sydd yn cael manteision ysgolion mawrion yn deilwng o'u cymharu â hwy mewn lledneisrwydd teimlad a moesgarwch ymddygiad. Ond, a ydyw yn bosibl fod un dyn ag sydd wedi cael addysg golegol mor ddiffygiol mewn moesau da, ac mor amddifad o ledneisrwydd teimlad ag y rhyfygai dramgwyddo y fwyaf *refined*—y fwyaf coethedig a lednais ag y dichon iddo fod yn ei chwmni? Ydyw, ysywaeth, y mae hyn, nid yn unig yn bosibl, ond yn ffaith. Ac yr ydym ni yn credu y buasai ac y byddai yn llawer gwell i aml un o'r cyfryw, er ei fwyn ei hun, ac er mwyn cymdeithas, fyned am dymmor i un o'r "*Young Ladies' Finishing Establishments*" i ddysgu *manners* cyn dechre astudio Groeg a Lladin.

Yn awr, pa gyfrif a ellir roddi, a pha esboniad a ellir gynnyg ar y gwahaniaeth a roddir uchod rhwng y naill ddyn a'r llall? Hyn: y mae un dyn yn naturiol yn lednais a thyner ei deimladau, a'r llall yn arw a difoes. Y mae un yn gyflym i weled y gwahaniaeth rhwng y *right* a'r *wrong,* rhwng y teg a hagr, rhwng glân ac aflan, a'r llall heb lygad i hyny. Y mae yr hyn sydd yn ymddangos fel yn reddfol yn naturiol i'r naill, ac yn ddigon o *study* am flynyddoedd i'r llall. Dywedodd rhyw ddyn y dydd o'r blaen, "*All this refinement you speak of is but a little varnish,*" gan awgrymu os oes ychydig o *polish* y tu allan fod yr holl *roughness* o'r golwg. Digon tebyg mai felly y mae gydag ef, a lliaws o rai tebyg iddo, oblegid "Ni cheir afal pêr ar bren sur," ebe'r ddiareb, a "Hysbys y dengys dyn o ba radd y bo ei wreiddyn." "Yn y croen y genir y blaidd y bydd efe farw." Ond atebwyd ef, "*Sir, some are refined by nature.*" Ac y mae hyn yn wirionedd am liaws o blant dynion,—y mae rhai yn *refined by nature,* yn naturiol yn goeth a dyrchafedig, tra y cawn rai eraill a gawsant bob manteision addysg fydol a chrefyddol yn aros yn *rough* ac anaddfed er y cwbl. Y mae amser, talent, ac arian, wedi cael eu gwario yn ofer ar bersonau felly.

*(I barhâu.)*

JANE BUCKLEY.

*Penygraig.*

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

ARCHOLLION GWEINIDOG

[Ymddangosodd yr erthygl ganlynol yn gyntaf mewn misolyn Seisonig un mlynedd ar hugain yn ol: a chan fy mod yn credu ei bod yn cynnwys addysgiadau teilwng o ystyriaeth aelodau eglwysig gyda'r gwahanol gyfundebau crefyddol yn Nghymru y dyddiau hyn, anfonais hi i'r DRYSORFA.

OWEN JONES.

*Llandudno.*]

ADDYSGIADAU I AELODAU EGLWYSIG.

YN y dydd hwn o greirfëydd, arddangosfëydd, a rhyfeddodau, gelwir ein sylw yn wastadol at ryw olygfa ddyeithriol, naill ai o ystafelloedd dyfais, meusydd dargan-fyddiad, neu, o fysg creiriau yr oesoedd gynt,—rheestrebau o ba rai ydynt wedi cynnyddu hyd onid yw "y saith ryfeddod" wedi eu cysgodi gan "ddengwaith a thriugain seithwaith." Tra y mae y ffaith hon o'u blaen, prin y gellir meddwl y buasai y cywreinbeth y cyfeirir ato yma wedi dianc o sylw yr oes ymchwilgar hon; eto gan ein bod yn credu fod llawer wedi myned heibio iddo yn ddisylw, fe ddichon na byddai adroddiad am ymchwiliad byr a wnaed arno, yn ofer, er galw sylw mwy neillduol at y gwrthddrych.

Ar ymweliad diweddar â chasgliad o ryfeddodau, cyfeiriwyd ein sylw yn neillduol at wrthddrych ydoedd mewn congl led aneglur o'r adeilad, ymddangosiad yr hwn ydoedd yn dra hynod yn wir; ac uwch ei ben yr oedd yn ysgrifenedig, *Haleb Mehamesharet Elohim.* Ond, er hynoted yr olygfa, ychydig a ymbwyllent i gymeryd sylw o hono. Pa fodd bynag, rhoddai hyn well cyfleusdra i ni i'w archwilio yn ddiattalfa. Wedi cyrhaedd sicrwydd am arwyddocâd yr arysgrifen, ymdrechwyd yn ddioed i gael allan y gwir gysylltiad rhwng yr enw a'r gwrthddrych; ond ei faintioli aruthrol, a'i ffurf anarferol, a fygythiai wneyd pob ymgais yn aneffeithiol, yn gymaint a bod y creithiau dyfnion ar rai rhanau, a maintiolaeth anarferol rhanau eraill, ynghyd a'r archollion aneirif ar bob rhan, bron a llwyr ddystrywio ei hunaniaeth.

Tra yn y cyfwng meddwl anmhenderfynol yma, deuai rhyw swyddog heibio, yr hwn wrth ganfod y dyddordeb a amlygid, a gynnygiai ar unwaith roddi eglurhâd ar yr olygfa ddyeithr. Wedi dadgan o honom ein derbyniad ddiolchgar o'i gynnygiad caredig, efe a ddechreuodd yn ddioed, gan ddywedyd, "Y mae yn ddigon rhesymol, syr, i chwi gymeryd dyddordeb yn y rhyfeddod a gyflwynir i'ch sylw yma, canys prin y gall fod golygfa mwy effeithiol, er fod yn syn mai ychydig a ofalant am dalu sylw manwl iddi. Y mae yr arysgrif yn wirionedd llythyrenol: canys mewn gwirionedd, 'CALON GWEINIDOG DUW' yw hon. Yr ydoedd wedi cynnyddu i'r maintioli rhyfedd yma, trwy y cariad nefol a wreiddiasai yn ddwfn ynddi. Y mae ei cheuedddau, fel y gwelwch, megys dyfrgistiau dyfnion, o ba rai, dros flynyddoedd lawer, y byrlymiodd afonydd o serchogrwydd brŵd at eneidiau anfarwol. Geiriau a gynnyrchid o'r serchogrwydd yma oeddynt eiriau ennillgar cariad. Calfaria ydoedd y testun mawr a roddai fywioldeb a nerth i guriadau y galon fawr hon."

"Ond pa beth ydyw y creithiau dyfnion hyn?" oedd yr ymofyniad.

"Y rhai hyn," eb efe, "y rhai a ganfyddwch chwi ar amryfal ranau, a achoswyd gan ddirwasgiadau neillduol a ddygwyd arni. Yn fynych, pan fyddai y galon hon wedi rhoddi ei bryd ar ryw gynllun da a duwiol, dodid llaw rewllyd proffeswyr oergalon arni; ac mewn rhai enghreifftiau, fel y gwelwch, gyda'r fath rym nes dystrywio bywiolrwydd y cyfryw ranau, a thagu y meddyliau bywiol a'r dymuniadau gwresog hyny,—nodau rhy amlwg o'r hyn sydd yn weledig eto. Y mae y rhan fwyaf cyffrôus o'm hadroddiad," medd y swyddog, "yn dwyn perthynas â'r archollion hyn a ganfyddwch chwi ar bob rhan o honi,—canys nid creithiau ydynt, yn gymaint ag nas iachäwyd hwynt hyd fynyd olaf einioes. Y rhai hyn ydynt gofarwyddion niweidiau hirgofiedig a dderbyniodd yn nhŷ ei garedigion. Yr ydoedd y gwas anrhydeddus hwn i Dduw, yr hwn a ddygai y galon fawr hon o'i fewn, yn ŵr o'r ardymheredd mwyaf teimladol, er ei fod yn meddu arferiad o gelu llawer o'i ofid. Gwybyddid yn ystod ei fywyd fod ymddygiadau rhywrai o'i amgylch yn effeithio arno yn fawr; ond ni ddychymygai neb am ddwysder ei ing hyd wedi ei farwolaeth, pan archwiliwyd ei galon, a phan ydoedd, ysywaeth, yn rhy ddiweddar i weinyddu un dyddanwch iddo. Yr ydoedd y picellau tanllyd a dderbyniai oddiwrth y gwrthwynebwr mawr yn cael eu tynu allan yn fuan, a'r archollion yn cael eu hiachâu, gan ei fod ef yn dra chyfarwydd â'r balm anffaeledig; ond archollion cyfeillion oedd y rhai hyn, er nad yr 'archollion ffyddlawn' am y rhai y soniai Solomon."

Gan gyfeirio at archoll ddofn yn y rhan fwyaf tyner, ychwanegai y gŵr, "Yr archoll ddofn yma a dderbyniwyd oddiwrth ddiacon o'r eglwys. Yr oedd y gweinidog serchog yn rhoddi llawer iawn o ymddiried ynddo; a dysgwyliai y cydweithrediad mwyaf calonog oddiwrtho,

gan ei fod yn dra thebyg i fod yn ddefnyddiol, hyd oni osodwyd ef mewn swydd; ond cân gynted ag yr ymsefydlodd ef yn y gadair swyddogol, efe a ddechreuodd ddefnyddio ei dalentau yn erbyn ei weinidog; yn gyntaf trwy geisio nodi brychau yn ei arddull, ac yna yn ei athrawiaeth, trwy yr hyn y darfu iddo gynhyrfu ymbleidiaeth yn yr eglwys, o natur dra phoenus; a chymerodd hyn oll le, pan oedd calon y pregethwr wedi myned yn fawr gan ddysgwyliad am lwyddiant, yr hyn a wnelai yr archoll yn ddyfnach. Mae yn wir y rhoddwyd taw ar yr ymblaid, ac y trowyd cydfrad y dyn Judasaidd hwn yn ei erbyn ei hunan; er hyny ymddangosai fod ei ddymchweliad wedi ychwanegu gofid ar ofid i'r gweinidog calon-gariadlawn."

Gan gyfeirio at doriad arall mewn rhan arall, efe a ddywedai, "Yr archoll hwn sydd yn parhâu i waedlifo, a roddwyd gan aelod ieuanc o'r eglwys, ar yr hon yr edrychid gyda llawer o edmygedd gan ei holl gyfeillion. Hi a ymddangosai fel dysgybles gwir gariadus yr Iesu. Parhaodd i garu a chael ei charu dros flwyddyn neu ddwy; ond, wedi yspaid o amser, dechreuodd adfeilio yn raddol. Gwelid yn amlwg fod ei gostyngeiddrwydd a'i hyddysgrwydd yn myned ar gil, a'i hymarferiad â'r moddion yn fwy afreolaidd; a'i chyfeillesau anwylaf hefyd a sylwent fod tuedd ynddi i osgoi eu cyfeillach. Yn fuan daeth yn rhy amlwg ei bod wedi ffurfio cysylltiad ansanctaidd, canys rhoddai ei chyfeillach i ddyn o'r byd. Yn y fan ymroddodd ei chyfeillion i'w darbwyllo, ond yn gwbl ofer; a'i gweinidog a appeliai ati â llygaid llawn o ddagrau, ac â geiriau llawn o serchogrwydd, ond, yn aneffeithiol, gan ei bod yn hynod o anhydyn. Ac yn ddiystyr o'r canlyniadau, rhuthrai ymlaen, gan warthruddo ei Harglwydd a'i chyfeillion, fel y bu raid ei thori o gymundeb â'r eglwys; a pha effaith a gafodd hyny ar galon yr hwn a fuasai yn gweddïo cymaint ar ei rhan, ac yn gwylio mor bryderus drosti, sydd ry amlwg i beri anghen am eglurhâd."

Tra yr oedd y sylwedydd yn synfyfyrio, gan feddwl gynifer sydd o galonau archolledig y pryd hwn yn gwaedu ar gyfrif ymadawiad oddiwrth y rheol ysgrythyrol mewn perthynas i ffurfiad cysylltiadau am einioes, dechreuai y deonglydd ar ei chwedl nesaf trwy ddywedyd, "Yr archoll a welwch chwi yma a achlysurwyd trwy ymrafaelion anhapus dau frawd yn yr eglwys. Yr oedd eu tiroedd yn terfynu y naill ar y llall, a chyfododd rhyw ddadl ddibwys o barth rhyw iawnderau, yr hyn a ymlidiodd ac a gynnyddodd yn derfysg mawr. Ymdrechodd y gweinidog hyd y gallai i gadw y cweryl allan o'r eglwys; ond, fel y dwfrgrychiad ar wyneb y llŷn, fe ymledai ar bob llaw, gan dynu ato ei hunan lawer o'r hyn oedd yn llwyr estronol i'r cwestiwn cychwynol. O'r diwedd, un o'r ymrafaelwyr, gan dybied fod ganddo ef ddigon o reswm i brofi mai efe ydoedd y dyn a gawsai gam, a hysbysai yn ddifrifol nad eisteddai mwyach wrth fwrdd yr Arglwydd gyda'r llall, hyd oni fyddai iddo roddi i fyny'r ddadl. Y llall, gan deimlo ei fod wedi ennill buddugoliaeth, a gadwai ei le yn dawel, gan ymorfoleddu yn ddirgelaidd ei fod wedi cael ymwared, cân belled, o'i frawd terfysglyd. Y llall, yr hwn mewn gwirionedd a'i cauasai ei hun allan trwy ei adduned fyrbwyll, gan deimlo ei orchfygiad, a gynhyrfai ychydig gyfeillion, i ddadleu am gael ymchwiliad eglwysig, er cael ei ddychwelyd i'w le. Nis gallai rhesymau nac ymbiliau gweinidogion a swyddogion ddwyn y ddau wrthwynebwr i gymmod, na thawelu yr eglwys; gan hyny fe'u gorfodwyd o'r diwedd, er yn anfoddog, i wneyd testun eglwysig o hono. Ond, ni bu y canlyniad well nag y rhagwelsai y swyddogion; canys hwy a wyddent, os bydd dynion yn penderfynu annghyttuno yn eu mysg eu hunain, nas gall eraill wneyd iddynt gyttuno. Fe'u hargyhoeddid hefyd, na chyfodasid y gri am ymchwiliad erioed gydag unrhyw ddymuniad gwirioneddol o gael deall gwir iawnderau yr achos mewn dadl, ond yn unig er gorchfygu y blaid wrthwynebol, cam neu gymhwys. Ac, fel y gallesid dysgwyl, chwerwai yr ymryson fwyfwy; ac er mai unig amcan y gweinidog oedd sicrhâu tangnefedd, efe a gyhuddid o gymeryd ei ddylanwadu gan y gôd drymaf. Y canlyniad fu i ymraniad gymeryd lle, yr hyn a arweiniodd i ysgariad llawer o hen gyfeillion hoffus. Treiglodd blynyddoedd drosodd, a symudwyd y prif droseddwr, yr hyn yn raddol a arweiniodd i ddychweliad y praidd gwasgaredig; eto i ganfod pa mor ddwfn yr archollasid calon y bugail, ni raid ond edrych yma."

*(I barhâu.)*

---

PREGETH ANGLADDOL AR OL Y PARCHEDIG JOHN ELIAS,

*A draddodwyd gan y diweddar Barch.* WILLIAM WILLIAMS, *Ficer Pwllheli.*

[Anfonwyd y bregeth ganlynol i'r DRYSORFA gan *Alltud Eifion*, Tremadog, wedi ei chopïo allan o lawysgrifen yr hen Ficer parchedig â'i traddododd. Pregethwyd hi ganddo yn Eglwys St. Pedr, Pwllheli, Sabboth yr 20fed o Fehefin, 1841, sef y Sabboth cyntaf ar ol claddedigaeth Mr Elias. Yr oedd Mr. Williams y pryd hwnw yn 76 mlwydd oed; ac efe oedd Ficer Pwllheli ar y pryd, wedi bod yno lawer o flynyddoedd; ond treuliodd y rhan ddiweddaf o'i oes yn weinu-

blwyf Llanengan, sydd heb fod ymhell o Bwllheli. Bu farw Hydref 6, 1854, wedi cyrhaedd yr oedran mawr o 94 mlwydd, ar ol llafur o 60 mlynedd yn y weinidogaeth. Yr oedd Mr. Williams wedi ei ddwyn i fyny, dybygem, yn Nolgellau, ac yn ewythr, frawd ei dad, i'r diweddar Lewis Williams, Ysw., Fronwnion, yr heddynad a'r arianydd parchus yn Nolgellau. Yr oedd efe yn wastad yn glerigwr hynod o ryddfrydig, heb ei lefeinio â surdoes "yr olyniaeth apostolaidd," na gwneuthur dim o'r uchel honiadau offeiriadol a geir yn rhy fynych a chyffredinol y dyddiau hyn. Gwelir hyny yn y bregeth hon, yr hon nad oes dim o naws "myfi y gweinidog awdurdodedig a chyfreithlawn" ynddi—yr un ond na chyfyngiad yn cael ei rhoi i weinidogaeth Mr. Elias, ond yn llefaru am dano yn gymhwys yr un fath â phe buasai ei hun yn Fethodist Calfinaidd. Yr oedd Mr. Williams a'r diweddar Barch. Michael Roberts yn hynod gyfeillgar; ac arferai yr hen Ficer da fyned i'r capel o bryd i bryd i wrando hen enwogion y cyfundeb, er na roddai ei hun mewn lle amlwg yno; a byddai bob amser ar y maes yn yr oedfäon yn Nghymdeithasfa Pwllheli. Bu felly yn gwrando yn fynych ar Mr. Elias, ac yn clywed rhai o'i bregethau mwyaf nerthol ac effeithiol.]

2 SAMUEL iii. 30: "Oni wyddoch chwi i dywysog ac i ŵr mawr syrthio heddyw yn Israel?"

MAE'R Cymry heddyw, mewn ystyr, fel plant amddifaid wedi colli eu tad. Mae llawer yn syrthio yn feunyddiol yn Israel, ond heddyw un mawr a gollwyd; un y bu ei weinidogaeth yn dyferu yn felus o'i enau fel gwlaw, fel gwlithwlaw ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt. A thrwm yw gan y wlad feddwl am y golled o un a fu yn tynu sylw miloedd â'i lais peraidd yn Nghymanfaoedd lliosog y Dywysogaeth, ond yn awr wedi ei roddi yn y dystaw fedd.

Yr oedd efe i'r wlad y peth oedd Aaron i Moses, yn llefaru yn groew ac yn fodd-haol; yn glynu wrth y gwaith trwy bob tywydd; ac fel Paul, "heb wneyd cyfrif o ddim ond gorphen ei yrfa trwy lawenydd, a'r weinidogaeth a dderbyniodd efe gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." Efe a ddirmygodd ŵg a gwên y byd, i gael bod o ddefnydd gyda gwaith ei Feistr; ac heddyw y mae yn derbyn ei wobr. Efe a dreuliodd faith flynyddau gyda chrefydd, ac efe a lynodd hyd ei fedd mewn llafur diflino, i fod yn offeryn defnyddiol yn llaw yr Arglwydd; a sicr yw na bu ei lafur yn ofer. Gallaf ddywedyd iddo ragori ymron ar bawb o'i gydoeswyr yn y pulpud.

Ond mae gan Berchen y gwaith ryw Josua eto i gyfodi yn lle Moses ei was, yr hwn a addfedodd i wlad arall. Wedi myned trwy'r Iorddonen, ac fe allai deimlo ychydig o rym y tònau a'r dyfroedd, ei enaid, sef ei ran anfarwol, a ehedodd i ganol brasder y Ganaan dragywyddol, wedi gadael gofidiau yr anialwch ar ol. Un foment o drigo yno sydd yn fwy na digon o wobr am holl ofidiau y bywyd hwn. Dyrchafiad mawr fydd i'r enaid wrth adael y babell bridd ar ol, iddi ehedeg yn ei helfen i uchelderau gwlad gogoniant, a chael ei gorlenwi â dedwyddwch diamgyffred iddi yn y bywyd trancedig hwn, i fyned i blith y dorf ddirifedi o saint ac angylion fry, i gydganu yr anthem o fawl i Dduw ac i'r Oen heb flino mwy.

Mae llawer yn ymadael o ganol eu gwaith cyn ei orphen. Darparodd Dafydd lawer o ddefnyddiau at y deml, ond ni chafodd ei hadeiladu; eithr Solomon ei fab a'i gwnaeth ac a'i gorphenodd. Elias hefyd oedd ar ganol ei waith, fel arferol, nes daeth y cerbyd tanllyd i'w symud i'r byd arall, ac yntau yn gwybod o'r blaen ei fod i gael ei symud ymaith. Felly mae Perchen y gwaith yn hoffi i bawb lynu wrth y gwaith hyd y diwedd, ac nid dysgwyl am y nos o hyd, i gael rhoddi y gwaith heibio. Daw y nos yn fuan, a chawn ddigon o orphwys yn ngwely llonydd y bedd, i ddiluddedu cyn cyfodi gyda bloedd yr archangel yn y bore mawr a ddaw. Am hyny, fel y gŵr yr ydym yn coffa ei ymadawiad, byddwn gyda'r gwaith yn wastad, ac nid â y llafur yn ofer.

Yr oedd efe wedi addfedu i wlad arall; ac fe ehedodd yn ddystaw gan adael i filoedd yn Nghymru alaru ar ei ol. Ond gan mai llaw Duw a'i symudodd, lle pawb yw tewi ac ymostwng, a gweddïo ar i'r Duw hwnw a'i cododd ef mor uchel, ac yrwan a'i symudodd, aros eto ar ol gyda'i bobl i'w llwyddo yn eu gweinidogaeth. Mae'r gŵr mawr hwn wedi ymadael, fel y dywedodd St. Paul wrth ei gyfeillion, fel na chaent weled ei wyneb ef mwy; ac yn gymhwys fel y dywedir yn llyfr Job, am rodio llwybr ar hyd yr hwn ni ddychwelir. "Ni ddychwel mwy i'w dŷ, a'i le nid edwyn ddim o hono mwy." Ni welir ef mewn pulpud nac *association* mwy. Ond pob duwiol a ânt ato, er na ddaw ef atynt hwy yma. Rhodd fawr i Gymru oedd efe tra y bu yma, a'n dyled ni bellach ydyw dywedyd, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith; bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Er fod ei symudiad yn golled fawr i eraill, mae yn ennill tragywyddol iddo ef. Dywed y Bibl am y doethion, "y dysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder a fyddant fel y ser byth ac yn dragywydd." Mae yn ddiammheu am John Elias ei fod wedi bod yn offeryn i droi lliaws o ddynion o gyfeiliorni eu ffyrdd, ac i'w hadeiladu yn y ffydd. Fe gafodd llawer eu hargyhoeddi dan ei bregethau, a'u sylweddol droi.

Mae Cymru yn awr yn deall ei bod wedi cael colled. Nid rhyw un cyffredin a gollwyd, "ond gŵr mawr yn Israel," ac un o feunyddiol ddefnydd i'r wlad. Mae

ei syrthiad ef i'r bedd yn golled mor fawr i Gymru fel nad oes neb ond yr Hwn a'i rhoddodd a fedr lenwi y bwlch i fyny. Dylem wybod ac ystyried hyn, er mwyn ein dwyn i ddilyn ei ffydd. Geilw'r Apostol Paul ar y credinwyr i "feddwl am eu blaenoriaid, y rhai a draethasant iddynt air Duw, i ddilyn eu ffydd, gan ystyried ddiwedd eu hymarweddiad hwynt."

Yn ddiammeu yr oedd y brawd duwiol hwn a'n gadawodd mewn llawer o bethau yn esiampl i'r praidd. Nid wyf yn meddwl wrth hyn ei fod yn berffaith; nid oes neb felly ar y ddaear; eto fe gafodd nerth gan ei Dad nefol i ddal ei ffordd drwy'r byd mor agos at y gwirionedd fel y methodd pawb gael dim o bwys i'w erbyn, am a wn i am dano, trwy ei oes; ac yr oedd mewn llawer o bethau yn esiampl i eraill i'w ddilyn

Yr oedd felly yn ei lafur diflino gyda holl ranau y gwaith, yn ei barch cyffredinol i'w frodyr, ac yn ei sirioldeb cyffredinol tuag at bob dyn. Byddai, fel y clywais yn aml am dano, yn sobr-siriol, ac yn siriol-sobr; ac fel hyn y byddai yn ennill cariad a serch y rhai a'i hadwaenent. Peth mawr i weinidogion yr efengyl ydyw, fod eu holl ymddygiadau yn peri i bawb feddwl yn uchel am danynt ac am eu gweinidogaeth; a gobeithiwn y bydd y pethau oedd hardd ac yn brydferth arno ef yn weledig ar lawer sydd eto ar ol. Dylem ystyried fod "un mawr" wedi syrthio, i'r dyben i ofalu pa fodd i gario gwaith y weinidogaeth ymlaen ar ol ei ymadawiad. Fel yr oedd y brenin Dafydd yn dywedyd am feibion Serfiah, eu bod yn rhy galed iddo ef, felly y dylai ei olynwyr ofni mai anhawdd iawn fydd cael neb i lenwi ei le yntau, fel y byddo iddynt bwyso mwy ar nerth a chymhorth y Pen mawr i fod gyda'i bobl bob amser hyd ddiwedd y byd. Fe ddylent fyned allan fwy yn ysbryd a nerth Elias, gan ddeall fod mwy o ofal a mwy o waith i ddisgyn arnynt. Galwodd yr Arglwydd ar Josua, gan ddywedyd, "Moses fy ngwas a fu farw; cyfod yn awr, dos dros yr Iorddonen hon, ti a'r bobl hyn;" fel pe buasai yn dywedyd, Ymwrola yn awr yn fwy nag erioed; ymegnïa i fod yn fwy defnyddiol, canys Moses a fu farw.

Hefyd ystyriwn, pan syrthio "un mawr," y dylem ofni rhag fod drygau yn agos at ein drysau. Cymerir y cyfiawn ymaith weithiau "heb neb yn deall mai o flaen drygfyd" y bydd hyny. Pan fu farw Eliseus, daeth y Moabiaid i'r wlad. Y flwyddyn y bu farw Luther yn Germany y daeth barn ar y wlad. Wrth weled y cyfiawn yn cael eu cymeryd ymaith oddiwrthym, ofnwn y gall y cymylau fod yn crynhoi, a'r ystorm ddyfod. Os daw cerbydau barnedigaeth Duw i'r wlad, ni chlyw'r meirw ddim o'u sŵn. Gweddïwn lawer ac yn daer am i Dduw lanhâu'r wlad oddiwrth ei phechodau, sydd yn arogli drygsawr drwyddi, fel na ddêl ei farnedigaeth arnom ni na'n plant.

Bydded pawb yn daer hefyd ger bron yr Arglwydd am i'r Ysbryd oedd yn helaeth ar y rhai mawr sydd wedi syrthio ddisgyn ac aros ar y rhai sydd eto ar ol, fel er colli eu personau, na byddys yn colli yr Ysbryd oedd arnynt. Felly byddwn daer mewn gweddïau ar i Berchen mawr y gwaith beri fod i'r Ysbryd oedd ar yr enwogion a gollwyd o'r blaen fod yn helaeth ar y rhai sydd ar ol trwy eu hoes fer, fel y byddont yn ogoniant i Dduw ac yn lles i'w cyd-ddynion. Nis gallwn feddwl am un golled debyg i golli yr Ysbryd Glân. Byddai yn well colli bara o'r ddaear na hyn; byddai yn fil gwell colli'r haul na hyn; colli dwfr o'r ffynnonau; colli gweled â'n llygaid, a chlywed â'n clustiau, a fyddai yn well na cholli'r Ysbryd. Ië, bydded i ni godi ein llef i uchelderau'r nefoedd am i'r Ysbryd daionus hwn aros ynom a chyda ni.

Wrth ystyried fod "gŵr mawr" wedi syrthio, cofiwn am droi at y Gŵr a'i cododd ef, ac a'i daliodd yn ddigwymp hyd y bedd, am iddo eto godi llawer o rai tebyg iddo. Efe a gyfododd, fel Perchen mawr y gwaith, lawer o olynwyr da i'w weision rhagorol. Efe a gyfododd Josua yn lle ac ar ol Moses, Eliseus yn lle Elias, a Solomon yn lle Dafydd ei dad. Wel, meddaf, rhodded eto lawer o'r newydd na bu eu bath o'r blaen er dyddiau'r apostolion, fel y byddo goleuni eu gweinidogaeth yn ymlid ymaith dywyllwch teyrnas y diafol o'r holl wlad, ac y byddo teyrnas y Gŵr a fu ar y groes yn llenwi'r byd—gwybodaeth yr Arglwydd lenwi'r ddaear, fel y mae'r dyfroedd yn toi'r môr. Yn John Elias fe gollodd y diafol wrthwynebwr cryf a gwastadol. Gallasai y gelyn ddywedyd am dano ef, fel y dywedodd wrth y bobl gynt am Grist a St. Paul, ei fod yn eu hadwaen; felly y mae'n sicr ei fod yn ei adwaen yntau fel gwrthwynebwr a darostyngwr ei deyrnas, a bod ganddo lid mawr ato; ond efe a ehedodd i wlad na ddaw ei bicellau tanllyd iddi byth.

Mae'r efengyl wedi colli un o'i phregethwyr mwyaf hyawdl a melus yn yr oes. Cafwyd hi o'i enau, nid fel gair dyn, ond fel gwir air Duw yn aml; ïe, fe fyddai arwyddion fod llawer o'r nefoedd yn dyfod i lawr i'r ddaear dan ei bregethau; cafodd llawer wledd ynddynt nas anghofir mo honynt tra yn y byd. Lle pawb yw ymdawelu dan drefn Duw. Da genym feddwl mai ei golli trwy angeu a wnaethom; nid ei golli fel Demas, gan garu y byd drwg

personol, nac fel Judas ychwaith, gan werthu ei Feistr, ond ei symud i wlad arall a wnaed; ei golli wedi ei hir gael, a'i golli hefyd wedi gorphen ei waith.

Yn awr, bydded fod y ffrydiau sy'n sychu yn tywys ein meddyliau at y Ffynnon fawr eu gwerth; bydded i'r ser goleu sydd i'w gweled yn machludo ddwyn ein meddyliau at yr Haul mawr sydd yn wastad yr un, ac heb fyth gyfnewid. Iddo ef y byddom ni yn ymddiried, wrtho ef y byddo pawb o honom yn dysgwyl, am wneyd ein holl anghenion i fyny o anchwiliadwy olud ei ras.

Dyma ni wedi gweled sant enwog wedi ein gadael; ac y mae'r dygwyddiad hwn yn galw arnom ni i fod yn barod i gyfarfod â'n Duw. Gwrandawn y rhybudd. Nid oes dim yn fwy sicr nag angeu, na dim yn fwy ansicr nag awr angeu. Dyma ni wedi cael rhybudd ar draul un arall. Os na fydd yn fendith i'n cael i'r llwch, fe fydd yn dyst yn ein herbyn yn nydd y farn, am wrthod o honom wrando ar rybuddion Duw.

Gair i ddiweddu: yr oedd difrifwch a dwysder anarferol yn holl agweddau John Elias yn yr areithfa, addas i un yn teimlo pwysfawrogrwydd y gwaith o bregethu'r efengyl, ac yn ystyried y cyfrifoldeb mawr a berthynai iddo; a byddai ei ddull syml ef yn effeithio er peri agwedd gyffelyb ar ei wrandäwyr lliosog. Yr oedd yn ysgrythyrwr nodedig, ac yn dra chyfarwydd yn y Gair Sanctaidd. Yr oedd ganddo ddeall cryf, amgyffrediadau eang a threiddgar, a golygiadau eglur ar y gwirionedd; ac yr oedd yn areithiwr hyawdl a medrus. Ymdriniai mewn modd manylaidd ac eglur ar ddirwest, a phob mater arall fyddai ganddo dan sylw, gan gadarnhâu ei sylwadau âg Ysgrythyr briodol. Ond prif ragoriaeth ei weinidogaeth oedd y goleu, yr awdurdod, a'r nerth a'i dilynai, nes y byddai llawer o rai anystyriol yn cael eu sobreiddio. Mewn gair, yr oedd ei ddull syml, gostyngedig, a'i agwedd ddeffrous a digellwair, yn dwyn tystiolaeth yn nghydwybodau ei wrandäwyr mai ceisio eu llesâd tragywyddol hwy ydoedd ei brif amcan, ac nid ennill cymeradwyaeth a chlod dynion iddo ei hun. Bydded i Arglwydd mawr y cynauaf anfon llawer ar frys ymhlith pob enw a sect i waith y weinidogaeth o rai wedi eu cynnysgaeddu â'r unrhyw gymhwysderau. Amen.

---

JOHN KITTO, D.D.

PENNOD II.

TRA yr oedd John Kitto yn ymroi i ddarllen ac astudio yn Llyfrfa Plymouth, a'i gyfeillion yn ceisio ffurfio cynlluniau i ddwyn ymlaen ei fywioliaeth yn y dyfodol, yr oedd Arglwydd Dduw rhagluniaeth yn ddystaw yn agor iddo ffordd nad oeddynt hwy wedi meddwl am dani Yr oedd un Mr. Groves yn byw yn Exeter, ac yn ymarfer yr alwedigaeth o ddeintydd, yr hwn oedd ŵr crefyddol, ac yn hoff o lenyddiaeth. Buasai Mr. Groves yn byw am rai blynyddoedd yn Plymouth, ac yr oedd yn gydnabyddus â'r prif lenorion a'r gwyddonwyr yno. Efe a glywodd am Kitto, ac a welodd rai o'i lythyrau, yr hyn a adawodd argraff ffafriol yn ei feddwl tuag ato. Cynnygiodd iddo le gydag ef, gan addaw iddo, heblaw ei fwrdd a'i letty, £15 y flwyddyn gyntaf, ac £20 yr ail, ac ychwanegu i swm sefydlog, os byddai yn aros gydag ef ar ol hyny. Derbyniwyd y cynnygiad yn ddiolchgar gan Kitto; ac yn mis Mai, 1824, efe a symudodd i Exeter. Yr oedd yn cael yn y lle hwn fanteision tymmorol ac ysbrydol; ac mewn llythyr at Mr. Woollcombe, un o'i gyfeillion goreu yn Plymouth, efe a ddywed,

"Y mae hyn yn sicr, fy mod bob dydd yn dyfod i deimlo mwy o bwysigrwydd bywiol crefydd, a diddymdra'r byd a'i bethau. Bob dydd y mae 'harddwch sancteiddrwydd' yn ymddangos i mi yn amlycach, a chynnyddu yn feunyddiol y mae yr argyhoeddiad yn fy meddwl fod ffyrdd Cristionogaeth 'yn ffyrdd hyfrydwch, a'i holl lwybrau yn heddwch,' ac yn ddifrifol y byddaf yn gweddïo am ras digonol i'm galluogi i rodio ei ffyrdd yn wastadol. Yr wyf yn dechre meddwl yn wahanol am lawer o bethau ragor y meddyliwn unwaith. Yr oeddwn gynt yn dychymygu am lawer o bethau y mae dynion y byd yn erlyn ar eu hol, ac yn gosod eu bryd arnynt mor fawr, y gallesid yn hawdd eu cymmodi â chrefydd Crist. Ond yr wyf yn awr yn gweled yn eglur mai gwagedd a gorthrymder ysbryd yw pob peth nad ydynt yn tueddu yn gyfryngol neu yn ddigyfrwng, at Dduw, neu nad oes ganddynt Grist a dedwyddwch tragywyddol dynolryw fel eu nôd."

Ac at Mr. Burnard y mae yn ysgrifenu,

"Diau eich bod yn teimlo, oddiwrth dôn fy llythyrau atoch chwi, a'm llythyrau at bersonau eraill y gallai eich bod wedi eu gweled, fod y John Kitto a welir genych yn berson lled wahanol i'r John Kitto a welsoch chwi; ac yr wyf yn sicr y llawenhewch gyda mi pan ddealloch mai nid rhyw gyfnewidiad ar y wêdd a'r ymddangosiad allanol yw hyn, ond cyfnewidiad yn cael ei deimlo yn ddwfn yn y galon, ac yn myned i mewn i bob teimlad, i holl anwydau'r meddwl, yn gymaint â fy mod yn awr yn ffieiddio llawer o bethau y bum unwaith yn ymhyfrydu ynddynt, a bod llawer o bethau yn hyfryd iawn genyf ag nad oeddynt unwaith o werth yn fy ngolwg."

Tua'r pryd hwn y cyhoeddwyd, trwy danysgrifiad, ei waith llenyddol cyntaf, sef cyfrol o Draethodau a Llythyrau, yr hon a gafodd dderbyniad lled groesawus. Efe a'i cyhoeddodd yn fwy oddiar annogaeth ei gyfeillion nag oddiar dueddfryd personol. Yr oedd efe, pan yn y *workhouse*, wedi breuddwydio fod yr angel Zared wedi cyffwrdd âg ef â'i wialen, a'i fod yn ganlynol yn ei gael ei hunan yn feddiannydd astudgell gysurus, wedi ei llanw â llyfrau, ac ar y fantell simnai amryw gyfrolau o'i awduriaeth ef ei hun, tra yr oedd ar y bwrdd lythyrau ato, wedi eu hysgrifenu yn ngwahanol barthau'r byd. Efe a fu byw i weled breuddwyd ei ieuenctyd wedi ei lawn gyflawni; ac yr oedd y cyflawniad iddo ef yn fendith, gan mai at ddefnyddioldeb cristionogol yr oedd ei holl gyfeiriad.

Er fod y gŵr ieuanc mewn lle cysurus yn Exeter, nid oedd efe eto yn teimlo ei fod wedi cyrhaedd ei bwynt mewn bywyd; ac yr oedd ganddo, yn wir, lawer o gamrau blinion i'w cerdded, a threialon i'w gwynebu cyn ei gael ei hun fel "yr iawn ddyn yn yr iawn le." Tra yr oedd galwedigaeth fydol Mr. Groves yn un enuillgar iddo, eto efe a ddaeth i'r penderfyniad o'i rhoddi i fyny, ac ymroddi i waith cenadwr mewn lle neu leoedd tramor; ac i'w gyfaill ieuanc byddar, efe a gafodd le yn y coleg cenadol yn Islington, perthynol i Genadaeth Dramor Eglwys Loegr, i fod yno yn dysgu y gelfyddyd o argraffu, gyda'r amcan iddo fod yn argraffydd yn un o orsafau cenadol y Gymdeithas. Daeth Kitto i Lundain yn mis Gorphenaf 1825. Ei gysylltiad â'r *Church Missionary Society* a barhäodd am ryw dair blynedd a hanner, dwy o ba rai a dreuliodd efe yn Llundain, a'r rhelyw yn Malta.

Pan yn y brifddinas, cafodd lawer o bleser wrth fyned i gyfarfodydd blynyddol y cymdeithasau crefyddol, a gynnelid y pryd hwnw yn y *Free Masons' Hall* gan nad oedd Neuadd Exeter eto wedi ei hadeiladu. Gall fod hyn yn ymddangos yn ddyeithr mewn cysylltiad âg un cwbl fyddar, na chlywai ddim a ddywedid. Ond yr oedd yn rhoddi iddo gyfleusdra i ddyfod yn gydnabyddus â phersonau, a sylwi ar ddull, amryw oedd yn enwog y pryd hwnw am eu hyawdledd fel areithwyr, neu eu medr fel ysgrifenwyr, ac olrhain yr argraff a wnaent ar eu gwrandäwyr. Yr areithwyr bywiocaf oedd yn ei foddio oreu. Ond wedi gweled digon o un siaradwr i ddeall ei ddull, byddai yn fuan yn cael digon arno, pa mor fywioced bynag a fyddai, ac yn awyddus am iddo eistedd i lawr ac i arall godi. Pan fyddai y gynnulleidfa yn tori allan mewn banllefau cymeradwyol, byddai yntau yn teimlo yn ddwys oddiwrth ei fyddardod. Yr oedd cyfaill yn gyffredin yn ei ymyl i foddhâu ei gywreingarwch yn hyn o ran; ac nid yn anfynych, medd efe, y bu "yn synu wrth achosion bychain iawn yr effeithiau mawrion" oedd yn ennyn ynddo awydd i gael yr hysbysrwydd am danynt. Wrth gyferbynu ei oerfelgarwch ei hun yn *darllen* yr areithiau a draddodwyd mor fywiog, ac a *wrandäwyd* gyda'r fath wresogrwydd, yr oedd hyny yn peri iddo deimlo yn dôst ei golled o herwydd ei fyddardod.

Yr oedd efe cyn hir yn cwyno yn fawr am nad oedd yn cael amser i ddarllen ond ychydig iawn, gan y byddai yn gadael ei ystafell am y swyddfa argraffyddol tua saith yn y bore, ac anfynych yn dyfod yn ol hyd oddeutu saith yn yr hwyr; ac yr oedd ei ffordd o'i lettŷ i'r swyddfa yn cymeryd tua thri chwarter awr; a byddai yn teimlo yn dra blinedig wedi dychwel i'w ystafell, a chanddo yn fynych lythyrau i'w hysgrifenu, yr hyn a fyddai yn rhwystro iddo fyned at ei hoff waith o ddarllen. Weithiau, nid yn fynych, byddai yn dygwydd ambell ddiwrnod nad oedd waith iddo yn y swyddfa, a chymerai yntau y fantais ar hyny i fyned adref yn gynnar. Ond aeth y rhai yr oedd efe dan eu harolygiaeth i ddyweyd wrtho fod ei awyddfryd llenyddol yn anghydweddol â'i gyflawniad o'i ddyledswyddau fel argraffydd. Nid oeddynt hwy yn gallu cydymdeimlo âg ef yn neillduolrwydd ei amgylchiad. "Dyma fi," ysgrifena efe, "wedi bod ddeng mlynedd yn hollol fyddar, ac wedi arfer, am y rhan fwyaf o'r amser hwn, fwynhâu pob peth yn fy llyfrau a chyda'm hysgrifenbin—cysur, cymdeithas, addysg, nerth, ac yn wastad yn edrych atynt fel prif a phriodol foddion i mi o wasanaethgarwch a defnyddioldeb." Nid oedd efe yn teimlo ei fod, wrth feithrin amaethiad ei feddwl, yn gweithredu yn groes i ddymuniad Cyfeisteddwyr y Gymdeithas, gan mai ei amcan mawr oedd cyrhaedd mwyfwy o gymhwysder i weithio gyda achos Crist yn gyffredinol, a chyda y rhan genadol o hono yn neillduol. Pa fodd bynag, efe mewn modd brysiog a roes i fyny ei le, yr hyn a anghymeradwywyd gan ei gyfeillion penaf; ac yr oedd yntau ei hun, ymhen blynyddoedd ar ol hyn, yn cydnabod fod mesur o fai arno yn ei ymadawiad byrbwyll â'r gymdeithas, er ei fod yn gweled fod camgymeriadau ar yr ochr arall hefyd. Bu am ddeufis fel hyn yn rhydd, ac yn y cyfamser yn methu cael un lle arall. Mewn llythyr at Mr. Burnard, y mae yn dywedyd,

"Nid wyf, ar y cyfan, yn wir ddigalon. Mi wn y *gall* Duw, ac yr wyf yn credu y

*gwna* efe, ddarpar rhywbeth ar fy nghyfer. Yr wyf yn teimlo yn ewyllysgar i ddysgwyl wrth ei amser ef. Wedi i mi geisio fy ewyllys fy hun, a'm ffordd fy hun, cefais fy ewyllys a'm ffordd yn chwerw. Yr wyf yn ymegnïo gan hyny i ddyfod yn ol i'w ffordd a'i ewyllys ef erof. Taflu yr wyf fy hunan arno, a dywedyd wrtho, 'Ti a weli fy mod yn syrthio oni chynnorthwyi fi. Nis gallaf rodio fy hunan, ac ni cheisiaf wneyd hyny eto. Tywys fi ac arwain fi.'"

Darfu i Mr. Groves, yr hwn nad oedd eto wedi myned ar lêd fel cenadwr, eiriol dros Kitto gyda'r Cyfeisteddfod, a llwyddo i'w gael yn ol i wasanaeth y Gymdeithas fel argraffydd; ac fel y cyfryw yr oedd i fyned, yn ol y bwriad blaenorol, i Malta fel y cyfryw. Yr amser hwn yr oedd yr argraffydd ieuainc yn meddwl yn ddifrifol am symud o'i gyflwr sengl i'r ystâd briodasol. Yr oedd Kitto yn wastad yn ddadleuydd dros briodi yn gynnar; ac yr oedd mor bell oddiwrth edrych ar ei amgylchiad ei hun fel eithriad, fel yr oedd yn ystyried fod ei achos ef yn un yn gofyn yn benodol am gyfryw undeb. Yr oedd o deimladau tra chymdeithasgar; nid oedd neb yn hoffach o blant; ac yr oedd yn cael oddiwrth y rhyw fenywaidd y tiriondeb a'r cydymdeimlad mwyaf. Yr oedd yn credu hefyd mai'r cyflwr priodasol oedd y feddyginiaeth oreu rhag y pruddglwyf trymfrydig a achlysurid trwy yr unigedd y gosodid ef ynddo gan ei fyddardod; ac yr oedd y tebygolrwydd ar y pryd ei fod ar lwyr adael gwlad ei enedigaeth yn cryfhâu ei dueddgarwch at fywyd priodasol. Mewn rhyw gynnulliad cyhoeddus, yr oedd gwynebpryd hawddgar un ferch yn denu ei sylw yn fawr, yr hon yr oedd ei henw, ei chysylltiadau, a'i thrigfa, yn ddyeithr iddo. Rai wythnosau ar ol hyny, pan yn pasio masnachdŷ, lle yr oedd yn gweled nwydd yr oedd arno eisieu ei brynu, efe a aeth i mewn; a bu ymddyddan rhyngddo â'r fasnachwraig barchus oedd yn gwerthu iddo ynghylch hoff fater ganddo ef, —yr Ysgol Sabbothol a phlant. Aethant mor gyfeillgar, fel y gwahoddodd hi ef i'r parlwr, ac y dangosodd iddo y llyfrau gwobrwyon a ennillodd ei phlant yn yr Ysgol Sabbothol; a phan y dymunodd efe gael gweled y plant, hi a atebodd eu bod oll oddicartref ond un ferch. Ac wedi galw hono i mewn, pwy ydoedd ond yr un benodol ag y denwyd ei sylw a'i serch ati yn y cynnulliad crybwylledig! Wedi cydnabyddiaeth pellach, yr oedd hi yn ymddangos iddo ef yn meddu'r cynneddfau anghenrheidiol i wneuthur ymgeledd gymhwys iddo. Hyd yr amser yr oedd efe i fyned o'i wlad, yr oedd pob peth yn myned ymlaen yn gariadlawn rhwng y ddau; ac yr oedd Mr. Groves a'i gyfeillion eraill wedi dangos eu boddlonrwydd i'r ieuad priodasol rhyngddynt. Cafwyd yn anghenrhaid, pa fodd bynag, i'r ymuniad gael ei oedi am ychydig amser; yr oedd efe, ar y cychwyn, i fyned allan ei hun, a'r ferch oedd yn ddyweddi iddo i'w ganlyn yn fuan. Wedi iddo gyrhaedd Malta, yr oedd ei bryder, os nad ei ddrwgdybiaeth, yn cyfodi oddiar ei dystawrwydd hi, heb fod yr un llythyr yn dyfod oddiwrthi ato; ac o'r diwedd, wele yr hysbysiad uthr yn ei gyrhaeddyd, yr hwn, ebe efe, "a'i tarawodd fel taranfollt o'r entrych," ei bod hi wedi troi yn anffyddlawn iddo, a phriodi gŵr arall. Ni welsant eu gilydd drachefn; ond, yn fuan wedi iddo ddychwelyd o Fôr y Canoldir, hi a fu farw mewn oedran cynnar, eithr nid cyn iddi draethu ei gofid am ei hymddygiad tuag at Mr. Kitto. Ei iaith ef, tra yn myfyrio ar ei siomedigaeth o dan furiau Bagdad, oedd, "Do, mi a gerais gyda gwallgofrwydd nad ydoedd, fel yr wyf yn barnu yn awr, yn cydweddu â sobrwydd y nodwedd llenyddol. Yr oedd y synwyr newydd, ymha un yr oedd fy nghalon yn ymddyrchafu, ac o ba un yr oedd yn tynu golygfeydd am y dyfodol, mor brydferth a dysglaer â'r cymylau, wedi eu lliwio gan yr haul machludol â rhuddgoch, amber, ac aur; ond buan yr aeth fy haul i lawr, a chanfyddais nad oedd y pethau dysglaer a gwychion hyn ond cymylau duon, tewion, yn absennoldeb yr hyn oedd yn peri eu harddwch." Mae yn dyweyd mewn llythyr at ei fam,—

"O fy mam, nis gellwch ddychymygu yr hyn a ddyoddefais drwy hyn! Yr oeddwn yn dysgwyl y byddai iddi yn fuan ddyfod ataf, ac yn gobeithio y byddem yn dra chysurus yn y lle hwn, pan y dinystriwyd ar unwaith fy holl obaith a'm dedwyddwch drwy y newydd yma. Prin y gwn pa fodd i'w gredu. Y mae yn brofedigaeth lem i mi, ac mi a suddwn yn llwyr o dani, oni byddai fod yr Arglwydd yn rasol gyda mi, yn fy nghynnal a'm nerthu dan y baich trwm sydd genyf i'w ddwyn. Yr wyf yn gobeithio y sancteiddir hyn i mi, fel y bu am fy holl brofedigaethau eraill."

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD VII.

### *Y Ddwy Ysgol.*

Gallwn feddwl fod pob dyn ymhob man yn meddu syniad, pa mor gywir bynag, am dano ei hun, sef am ei ymddangosiad

personol, am ei allnoedd corfforol a meddyliol, ac am ei sefyllfa gymdeithasol. Mewn geiriau eraill, mae gan bob dyn syniad am ei faint; ond nid bob amser y bydd efe yn gwneyd y syniad hwn yn hysbys i eraill. Fel rheol, ceidw ef iddo ei hun. Dichon fod rhesymau cryfion i'w rhoddi dros ei ymddygiad. Mae yn sefyll i reswm mai y dyn ei hun a ŵyr oreu am dano ei hun; ac efe yw y cymhwysaf i ffurfio syniad cywir. Ond os bydd yn ŵr gwedd-ol allnog, ni faidd fynegu hyn heb berygln tynu ei hun i lawr yn syniadau eraill, a gosod ei hun yn is yn eu meddyliau nag ydyw yn ei feddwl ei hun. Rhyw un ymhob miliwn o bobl sydd yn meiddio, fel yr apostol Paul, fynegu yn ddigryn ei ragoriaeth ar eraill; ond y mae y cyfartaledd yn llawer mwy o'r rhai sydd yn credu yn eu rhagoriaeth. Cymaint ydyw dysgleirdeb prydferthwch gostyngeiddrwydd yn ngolwg dynion, fel y mae hyd yn nôd gonestrwydd yn gorfod gwisgo gorchudd dros ei lygaid yn ei bresennoldeb. Mor fawr raid fod yr Hwn oedd yn gallu gwneyd y fath fynegiadau a honiadau, ac ar yr un pryd heb lychwino dim ar ei ostyngeiddrwydd a'i ledneisrwydd!

Tybir yn gyffredin y dylai mawredd a gostyngeiddrwydd gydfyned â'u gilydd; ac eto y mae lle i feddwl nad ydyw yr hyn a elwir yn ostyngeiddrwydd ymhlith dynion, yn fynych iawn, ond ffurf arall ar ddoethineb, neu yn hytrach gyfrwysdra. Tybier fod y Doctor ——, pan yn nghanol ei frodyr yn y gymanfa, yn eu hanerch fel hyn: "Wel frodyr anwyl, chwi a wyddoch fy mod i yn alluocach na chwi oll—y gallaf ysgrifenu traethawd neu gyfansoddi pregeth, pan geisiaf, yn llawer rhagorach na neb o honoch. Mewn gair, gwyddoch fy mod o ran cynneddfau naturiol a diwylliant gymaint â dwsin o rai o honoch, ac yn fwy na dau o'ch goreuon." Beth a ddywedai ei frodyr? Oni edrychent ar eu gilydd? ac oni fyddai yn yr edrychiad awgrym fod y llefarwr yn dechre dyrysu? ac eto pwy a ŵyr yn well na'r llefarwr ei hun fod yr hyn a roddir yn ei enau genyf fi yn wir bob gair, er na chymerai efe y byd am ddyweyd hyny? Teimla y dyn gwir fawr y gall ymddiried i eraill ffurfio eu syniadau am dano heb iddo ef eu cyfarwyddo, ac mai y tebygolrwydd fydd iddynt synied yn rhy uchel am dano; a gwell ganddo iddynt gyfeiliorni yn y ffordd hono na'r ffordd arall. Nid oes gormod o barodrwydd yn y mawr na'r bychan i gywiro eraill, os byddant yn tueddu i synied yn rhy dda am danynt.

Yr wyf yn brofiadol mai teimlad anghysurus ydyw yr ymwybyddiaeth o fychander; a dichon mai hyn ydyw y rheswm fod y bychan bob amser yn gwneyd ymdrech i ddangos yr oll o hono ei hun, a hyny i'r fantais oreu. Mae hyn i'w weled mewn creaduriaid eraill heblaw dynion. Y dydd o'r blaen edrychwn ar ddau geiliog ar y domen—y *Cochin China* mawr heglog a phenuchel, a'r *dandy* bychan twt. Edrychai y blaenaf yn swrth a didaro, a hollol foddlawn ar ei sefyllfa. Ond am y *dandy*, O fel y gwthiai ei *frest* allan, gan sefyll ar flaenau ei draed, a dal ei ben a'i gynffon mor uchel nes oeddynt ymron cyffwrdd â'u gilydd! Canai a chanai drachefn mewn llais clir; a cheisiai, fel y tybiwn i, dynu cweryl â'r *Cochin China*. Troai o'i gwmpas; ac, yn ei ffordd ef, dywedai, "Wyt ti ddim yn gwel'd fy mron a fy nghynffon? 'Does gen' ti'r un gynffon fel hon?" Ni chymerai y *Cochin China* arno ei glywed. Ond o'r diwedd, canodd yntau; ac yr oedd ei gân yn fwy tebyg i ocheuaid nag i ddim arall, a thybiwn mai tosturio yr oedd efe at fychander y *dandy*. Nis gwn pa un ai y *Cochin China* ai y *dandy* sydd yn efelychu dynion, ynte ai dynion sydd yn eu hefelychu hwy; ond amlwg ydyw fod tebygolrwydd rhyngddynt. Ond hyn yr oeddwn yn myned i'w ofyn: "Rhys, pa syniad yr wyt ti wedi ei ffurfio am danat dy hun? Nid oes yma neb yn gwrando; ac felly gelli ateb yn onest, heb fawr berygl i neb dybied dy fod yn hunanol nac yn ffugostyngedig. Yr wyt yn bregethwr, yn fugail, yn prydyddu weithiau, ac yn ysgrifenu yn achlysurol i'r cyfnodolion. Pa safle yr wyt yn ddal yn dy feddwl dy hun?" Wel, ceisiaf roi fy nhroed ar wddf balchder ac ateb yn onest heb dwyllo fy hun, gan nad oes yma neb dynion yn gwrando. Mae yr Hwn a ŵyr bobpeth yn gwybod fy mod yn yr hyn y dylwn ac y dymunwn fod fwyaf ynddo, sef crefydd a phrofiad o bethau ysbrydol, yn ofidus o fychan. A pho fwyaf yr wyf yn geisio ymwneyd â phethau Dwyfol a thragywyddol, mwyaf oll yr wyf yn teimlo yr afael sydd gan y ddaear arnaf, a thrymaf oll yw y pwysau sydd yn fy nal i lawr. Oni bae fod dadganiadau y gair ysbrydoledig mor bendant a chryfion am allu a gras y Gwaredwr, buaswn wedi suddo i anobaith o dan lwyth calon lygredig a chydwybod euog. Fy ngweddi o ddyfnder fy nghalon ydyw, ar iddo Ef fy nerthu yn y ffydd.

Gyda golwg ar fy ymddangosiad personol, gwn nad oes dim yn serchiadol ynof, a byddaf yn synu weithiau wrth gofio fod un, rywdro, wedi fy hoffi, fel y caf gyflensdra i gyfeirio at hyny eto. Bum lawer gwaith yn cenfigenu at allu ymddyddanol *Glân Alun*, yr hwn oedd yn peri i bawb anghofio ei berson. Y dyn anwyl! mae yn well genyf am danat nag am gant o'r dynion golygus, twt, ond dienaid yma!

Ar yr un pryd, byddaf yn ceisio credu nad oes dim yn anghynhesol yn fy ymddangosiad. Tybed a ydwyf yn camgymeryd? Pa fodd bynag, buaswn yn fwy na boddlawn i fod yn Thomas John pe buasai bosibl cael ei enaid hynod. Er y cwbl, y mae ymddangosiad prydferth a thywysogaidd yn glamp o beth i bregethwr; ac y mae yr hwn sydd yn dringo i bulpud hebddo *at a discount*.

O ran cynneddfau naturiol—wel, ïe, nid oes yma neb yn gwrando—yr wyf yn meddwl eu bod yn rhagori ar eiddo rhai o fy mrodyr. Maent yn gwybod hyny, neu o leiaf dylent wybod. Ni chymerwn lawer a dyweyd hyn wrth neb, a phe dywedai rhywun hyny wrthyf, mae yn sicr y protestiwn yn erbyn y peth; a chyfrifid hyny, hwyrach, yn ostyngeiddrwydd ynof.

Gyda golwg ar fy ngwybodaeth, nid wyf nac yma nac acw. Yn wir, y mae yn yr eglwys yma hogiau sydd yn gwybod mwy o lawer na mi mewn rhyw bethau; a byddaf ar fy ngoreu yn aml rhag iddynt ddyfod i ddeall hyny. Dyna ddaearyddiaeth, er engraifft: nis gwn i y nesaf peth i ddim am y wybodaeth werthfawr hono; a phan fydd un o'r hogiau yn y cyfarfod yn gofyn cwestiwn i mi yn y cyfeiriad hwnw, byddaf yn gorfod arfer cyfrwysdra mawr i guddio fy anwybodaeth; oblegid ni wnai y tro iddynt ddeall mai anwybodus ydwyf, a minnau yn weinidog yr eglwys; canys creda y bechgyn, druain, fy mod yn gwybod pobpeth. Mae genyf amryw ffyrdd i ddyfod allan o'r dyryswch hwn. Pan ofynir cwestiwn i mi na wn i ddim pa fodd i'w ateb, byddaf yn cyfeirio y cwestiwn at fachgen yn y dosbarth yr hwn y tybiaf a all ei ateb; ac os byddaf yn lled feddwl ei fod wedi ei ateb yn iawn, byddaf yn rhoi *nod* gymeradwyol. Ond os gofynir cwestiwn nad allaf fi na neb arall yn y dosbarth ei ateb, byddaf yn ceisio argraffu ar feddyliau fy ysgoleigion y pwysigrwydd i bawb ddarllen a chwilio drosto ei hun, ac fod y wybodaeth a geir y ffordd heno yn llawer mwy llesol na phe byddai i mi ateb y cwestiwn ar y pryd. Byddaf yn ychwanegu y cedwir y cwestiwn mewn cof hyd y cyfarfod dilynol, pryd y dysgwyliaf y bydd pawb yn gallu ei ateb. Yn y cyfamser byddaf yn chwilio am y wybodaeth i mi fy hun. Wrth gwrs, nid oes neb yn gwybod hyn, ac ni wnai dynion call fy meio pe baent yn gwybod; oblegid pe bawn yn addef fy anwybodaeth o flaen y bechgyn, andwyai hyny lawer ar fy nefnyddioldeb.

Yr hyn a achlysurodd i mi ysgrifenu rhagymadrodd mor faith i'r bennod hon oedd, meddwl y fath anffawd ydyw i bregethwr, yn enwedig, golli manteision addysg yn more ei oes. Mae yn feunyddiol yn tramgwyddo ar draws rhywbeth y dylasai fod wedi ei ddysgu yn yr ysgol pan yn fachgen; ac nid all byth godi i safle a defnyddioldeb y rhai a dderbyniasant addysg elfenol drwyadl pan yn blant. Pan oeddwn i yn hogyn, nid oedd yn fy nhref enedigol ond dwy ysgol ddyddiol yn unig. Cedwid un gan foneddwr o'r enw Mr. Smith, am yr hwn y mae genyf gof da. Mr. Smith ydoedd ddewin mawr y dref. Edrychid arno gan rai gyda'r fath edmygedd ag oedd yn ymylu ymron ar addoliad. Credid ei fod yn hyddysg mewn saith o ieithoedd, ac y gallai siarad geiriau nad oedd neb yn eu deall. Clywais fy mam yn sicrhâu mai Mr. Smith a Dic Aberdaron oeddynt y ddau ysgolaig mwyaf a welodd y byd erioed. Gan nad beth ydyw fy syniad erbyn hyn am gywirdeb myneg-iad fy mam, gwn fy mod yn ei gredu yn ddios y pryd hyny. Parai hyn i mi sefyll ar yr heol pan gyfarfyddwn â Mr. Smith, gan edrych ar ei ol gyda syndod anneagrifiadwy. Dyn tàl, eiddil, a gwalltlaes ydoedd, yn gwisgo dillad duon ac yspectol. Yr wyf yn meddwl mai efe ydoedd yr unig un yn ein tref y pryd hwnw a adawai ei farf dyfu o dan ei drwyn. Golygid ysgol Mr. Smith yn sefydliad uwchraddol ac anrhydeddus iawn; ac nid oedd neb yn dychymygu am anfon eu plant yno oddieithr boneddigion a phobl dda arnynt. Cof genyf fy mod yn cysylltu rhyw ddirgelwch mawr ynglŷn â'r cŵd gwyrdd yn yr hwn y cariai y bechgyn eu llyfrau i ysgol Mr. Smith.

Mae genyf le cryf i gredu na buasai fy mam yn meddwl am fy anfon i'r ysgol at Mr. Smith, hyd yn nôd pe buasai ei hamgylchiadau yn caniatâu hyny, am y credai hi mai dyn diras oedd efe. Yr oedd ganddi amryw resymau dros ffurfio y syniad hwn am dano: yn un peth, am ei fod yn myned i'r llàn ar y Sabboth yn lle bod "hefo chrefydd;" neu, mewn geiriau eraill, am ei fod yn myned i Eglwys Loegr yn lle myned i'r capel. Yr oedd "Eglwys Loegr" a "chrefydd" yn eiriau pell iawn oddiwrth eu gilydd yn ngeiriadur fy mam. Peth arall a barai iddi gredu mai dyn diras oedd Mr. Smith oedd, ei arferiad o gymeryd tro ar brydnawn Suliau yn lle bod yn myfyrio yn y gair a'r athrawiaeth. Hefyd yr oedd fy mam wedi clywed gan hen forwyn i Mr. Smith fod ganddo yn ei dŷ "lyfr codi cythreuliaid," yr hwn a ddarllenai yn feunyddiol "wedi bô nos." Nid oedd ammheuaeth am gywirdeb yr ystori hon, oblegid un noswaith gadawsai Mr. Smith y llyfr yn agored ar y bwrdd, ymha le y gwelodd y forwyn ef fore dran-noeth, ac yn ddifeddwl nesaodd ato a cheisiodd ei ddarllen, ond dim un sill a allai hi ei ddeall o hono oddigerth y gair

Satan; ac erbyn i'r forwyn fyned i'r ystafell drachefn, yr oedd y llyfr wedi diflanu. Mae yn wir nad oedd y forwyn yn deall gair o Saesonaeg. Fel prawf ychwanegol at hyn, cofiai fy mam yn burion fod Mr. Smith gyda Mr. Brown y person, pan fu yr olaf yn Tŷ'nllidiart yn rhoi yr ysbryd i lawr, a phan y cauodd arno yn ei flwch tybacco. Casgliad fy mam oedd hyn: os oedd Mr. Smith, ac yntau heb fod yn "berson," yn gallu cynnorthwyo Mr. Brown i roi ysbrydion i lawr, nad oedd efe yn ddyeithr i'r gwaith o'u cyfodi hefyd. Ond rheswm penaf fy mam dros gredu mai dyn diras oedd Mr. Smith ydoedd y ffaith ei fod yn gwisgo *moustaches.* Nid allai neb ei hargyhoeddi hi, meddai, fod undyn ag oedd wedi profi pethau mawr crefydd yn gallu gadael ei farf ar ei wefus uchaf. Ni welodd hi neb ag oedd yn deilwng o'r enw cristion yn gwneyd felly. Beth a gymerasai Mr. Elias neu Mr. Rees a gwisgo *moustaches?* Yr oedd tipyn o locsen wrth y glust yn beth hollol wahanol. Fel y dywedais, yr oedd y pethau hyn, hyd yn nôd pe buasai fy mam yn gallu fforddio, yn rhwystr anorfod ar fy ffordd i gael myned i'r ysgol at Mr. Smith. Heblaw hyny nid oedd fy mam yn credu mewn dysgeidiaeth uchel. Clywais hi yn dyweyd ambell dro na welodd hi erioed ddaioni o roi dysg uchel i blant, fod llawer o ddysg wedi arwain ambell un i'r crogbren. "Am blant tlodion," meddai, "os gallant ddarllen eu Bibl, a gwybod y ffordd i'r bywyd, mae hyny yn llawn ddigon iddynt."

Yr ysgol arall a gedwid gan un o'r enw Robert Davies, neu fel y gelwid ef yn gyffredin, Robyn y Sowldiwr. Gŵr cydnerth a chnawdol ydoedd ef, ac mewn gwth o oedran. Treuliasai flodau ei ddyddiau yn myddin Prydain Fawr, ymha sefyllfa yr hynododd ei hun fel milwr dewr a phybyr. Pan ddychwelodd yr hen sowldiwr i'w dref enedigol, yr oedd efe yn ddiffygiol o'i goes ddehau, yr hon a adawsai ar ei ol yn Belgium, fel arwydd o'i zel a'i ffyddlondeb dros ei wlad pan oedd yn ymladd yn erbyn Boni. Cyflenwasai Robert y diffyg hwn â choes bren o ddefnydd tramor, ac o'i wneuthuriad ef ei hun, a ffurel haiarn ar ei blaen. Ar ei ymadawiad o'r fyddin, teimlodd y llywodraeth oedd mewn awdurdod ar y pryd rwymedigaeth i roddi iddo y *pension* o chwech cheiniog yn y dydd am y gweddill o'i oes, yn gydnabyddiaeth am ei wasanaeth gwerthfawr fel milwr, ac fel cais sylweddol i wneyd i fyny am y golled o'i goes; o herwydd paham yr arferai Robert alw y goes bren "yr hen goes chwech." Am rai wythnosau wedi i Robert ddychwelyd o'r fyddin, gelwid arno yn fynych i swpera gyda ei hen gyfeillion, er mwyn iddynt ei glywed yn adrodd hanes ei frwydrau, a'r hyn a welodd ac a glywodd. Pa fodd bynag daeth Robert yn fuan i ben ei denyn, ac aeth ei hanes, o dipyn i beth, yn ddiflas cyn i'w ystymog golli ei harchwaeth; a'r unig fan erbyn hyn lle y gwrandewid ei adroddiadau gyda'r gradd o ddyddordeb ydoedd y *Cross Foxes,* â'r hwn le yr oedd Robert yn ymwelydd cyson.

Gan nad oedd incwm y goes bren nemawr mwy na'r galwadau wythnosol yn y *Cross Foxes,* syrthiodd yr hen filwr yn fuan i amgylchiadau cyfyng. Ond yn union deg daeth ymwared i'r hen frawd. Agorodd rhagluniaeth le iddo i gadw tollborth. Yn y sefyllfa hon cafodd yr hen sowldiwr am dymmor fyd da helaethwych beunydd. Yr oedd golwg raenus a chomfforddus arno yn y cyfnod hwn; a diammheu mai felly y buasai pethau yn parhâu oni bae i oruchwylwyr y ffordd fawr ddarganfod nad cadw y *gate* yr oedd Robert, ond mai y *gate* oedd yn ei gadw ef. Mewn cynghor, daethant i'r penderfyniad nad hyn ydoedd amcan gwreiddiol y tollborth; a chan fod rhai o'r goruchwylwyr dipyn yn hunanol a chalongaled, mynasant adferu y tollborth i ateb dyben ei sefydliad; a bu raid i Robert ymadael.

Yr oedd Mr. Brown y person yn ŵr dyngarol a charedig dros ben wrth ei blwyfolion, yn enwedig y rhai nad oeddynt yn hereticiaid. Ac yn gymaint â bod yr hen ryfelwr yn un o'i "anwyl gariadus frodyr," ac yn ŵr defosiynol, hyny ydyw, yn myned i'r eglwys bob bore Sul—yn myned ar y gwely bob prydnawn Sul—ac yn myned i'r *Cross Foxes* bob nos Sul—cymerai Mr. Brown ddyddordeb neillduol yn ei amgylchiadau, ac efe oedd y cyntaf i awgrymu wrtho y priodoldeb iddo ddechre cadw ysgol. "Robyt," ebe Mr. Brown,—felly y clywais fy mam yn adrodd—"chi yn sgolor—chi yn medryd darllen a scyfenu a deyd y catecism—chi dechre ysgol yn yr hen *office* gwâg—fine helpio chi. Llawer o plant heb dysg, Robyt, chi *chargio* ceiniog yr wythnos—gneyd *lot* o pres—byw yn 'fforddus—fi gneyd y ngorê i chi. Chi, Robyt, bod yn ymladd dros y gwlad, mine ymladd drostoch chithe rwan." Chware teg i Mr. Brown; yr oedd ganddo galon gynhes, ac ni orphwysodd nes iddo osod Robert ar ei draed, neu yn hytrach ar ei droed, ynglŷn â'r ysgol ddyddiol.

Yr oedd ysgol Robyn y Sowldiwr yn hen sefydliad erbyn i mi fod yn gymhwys o ran oedran i fyned iddi. Pa fodd y bu i fy mam fy anfon yno, nid yw fy nghof yn ddigon bywiog i roddi y manylion. Sicr wyf nad fy ngorawydd i am addysg a fu y cymhelliad. Yr wyf yn lled benderfynol fy meddwl hefyd, nad o herwydd

fod fy mam yn argyhoeddedig o grefyddolder Robert Davies. Y rheswm tebycaf y gallaf fi feddwl am dano yn awr ydyw fod Mr. Brown wedi arfer ei ddylanwad gyda fy mam ar y mater. Er y credai hi nad oedd Mr. Brown wedi profi "y pethau mawr," gwn y coleddai syniadau uchel am dano fel dyngarwr a chymydog. Yr unig beth a'm cymmodai i â'r syniad o fyned i'r ysgol oedd y ffaith fod Wil Bryan yn aelod o'r sefydliad gwerthfawr(!). Er hyn, yr wyf yn cofio yn dda y teimlwn fy mod yn gwneyd gwrolwaith wrth fyned i'r ysgol, a fy mod yn teilyngu rhyw fath o deyrnged am fy hunanymwadiad. Yr wyf wedi sylwi wrth ddarllen hunangofiaint, nad anenwog yn hanes eu hawdwyr ydyw y diwrnod cyntaf yr aethant i'r ysgol. Mae y diwrnod hwnw yn fyw yn fy meddwl innau, ac yr wyf yn adgofio y dydd a'i ddygwyddiadau, nid fel y gwnânt hwy, sef er difyrwch i eraill, ond er difyrwch i mi fy hun, yr unig un, o bosibl, a allai gael difyrwch ynddynt. Hwyrach mai gwell a fyddai i mi gymeryd pennod arall i adrodd hanes y diwrnod.

## Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

PSALM lxviii. 15, 16: "Mynydd Duw *sydd fel* mynydd Basan, yn fynydd cribog *fel* mynydd Basan. Paham y llemwch, chwi fynyddoedd cribog? *dyma* y mynydd a chwennychodd Duw ei breswylio; ïe, preswylia yr Arglwydd ynddo byth."

MAE yn ymddangos fod ein cyfieithwyr ni, wrth roddi i mewn yn chwanegol y *sydd fel* yn y 15ed adnod, a'r un modd y cyfieithwyr Seisonig gyda'u *is as*, yn achlysuro camolygiad ar y mynegiad sydd yma. Clywsom bregethwyr wrth ddyfynu yr adnod, ac un wrth bregethu yn benodol arni, yn cyffelybu mynydd Sïon, neu eglwys Dduw, i fynydd Basan; ac un sylw ydoedd fod mynydd Basan yn un mor serth, fel os nad oedd dyn yn gallu dringo i fyny hyd-ddo, ei fod yn sicr o lithro i lawr, ac felly gyda chrefydd mai rhaid fod dyn yn myned ymlaen neu yn ôl yn barhâus. Nid rhaid dyweyd dim yn erbyn y cyfryw sylw; eithr nid hyny a gyflwynir i ni gan y Salmydd. Nid Sïon yw "mynydd Duw" yn yr adnod gyntaf yma. Cyfieithiad Cymreig y Parch. Dr. Briscoe, Caergybi, ydyw, "Mynydd goruchel (yw) mynydd Basan; mynydd llawncorynau (yw) mynydd Basan. Paham y craff-edrychwch, O fynyddoedd llawn corynau, ar y mynydd y mae'n hyfryd gan Dduw drigo ynddo? ïe, Iehofah a'i preswylia byth," a'i esboniad ar yr ymadrodd "y craff-edrychwch" ydyw, "sef, â llygad drwg." Nid annhebyg yw cyfieithiad Delitzsch: "Mynydd Duw yw mynydd Basan; mynydd llawn cribau yw mynydd Basan. Paham yr edrychwch yn genfigenus, chwi fynyddoedd llawn cribau, ar y mynydd a ddewisodd Duw i breswylio ynddo? ïe, Jehofah a breswylia ynddo byth." Cyffelyb yw cyfieithiad Hengstenberg, ond ei fod yn dechre yr 16eg adnod fel hyn, "Paham y gosodwch faglau, chwi fynyddoedd cribog, yn erbyn y mynydd a ddewisodd, &c." Cawn gan Esgob Horsley, "Am ba beth y mynwch chwi ymryson, chwi fryniau o uchel aeliau? Hwn yw y mynydd a chwennychwyd gan Dduw, iddo ei hun i drigo ynddo."

Yma y mae'r Salmydd yn cyfeirio at waith Duw yn dewis mynydd neu fryn yn lle neillduol i osod i fyny ei deml, preswylfa ei ogoniant, arno. Ac wele efe yn farddonol yn gosod allan yr amrywiol fynyddau yn awyddus oll am y cyfryw anrhydedd; pob un megys yn llamu i sylw, gan waeddi, "Myfi, myfi!" ac yn barod i genfigenu yn ddirfawr wrth y mynydd a ddewisid yn eu lle hwy. Wele fynydd Basan yn gyntaf yn rhoddi ei hawl i mewn, gan ddadleu ei uchder mawreddog —mai efe a ddylasai fod yn fynydd Duw, neu yn fynydd ar benig i Dduw. Mynydd Basan, meddir, y gelwir crib uchel Hermon, sydd yn wastad yn wŷn gan eira, ac yn sefyll o fewn terfyn tir Basan; ac y mae holl ddosbarth mynyddoedd Basan yn gynnwysedig bob un o graig galed, ac yn ymddangos yn llawer mwy hynafol a chadarn na'r gyfres o fynyddoedd ar y tu arall, sydd yn gynnwysedig yn benaf o gareg calch, ac felly Sïon yn neillduol. Ond y mae'r Salmydd yn tori yn fyr y gystadleuaeth, drwy sicrhâu yn benderfynol mai mynydd bach Sïon, ac nid mynydd mawr Basan, nac un mynydd uchel arall, a ddewisodd Arglwydd y lluoedd yn drigfan iddo ei hun.

Y wers a ddysgir i ni yma ydyw, y rhaid i bob mawredd bydol ymddarostwng i fawredd ysbrydol eglwys Dduw. Er mor gadarn a goruchel yr ymddengys galluoedd y byd hwn, nis gallant orchfygu achos a phobl yr Arglwydd; a cheir gweled Sïon, preswylfa Duw, yn ymddyrchafu arnynt oll.

PSALM lxviii. 22, 23: "Dywedodd yr Arglwydd, Dygaf *fy mhobl* drachefn o Basan, dygaf hwynt drachefn o ddyfnder y môr, fel y trocher dy droed yn ngwaed *dy* elynion, a thafod dy gŵn yn yr unrhyw."

YMA eto y mae'r cyfieithwyr Cymreig a

Seisonig, trwy roddi i mewn y geiriau, "*fy mhobl,*" yn arwain i gamesboniad. Yn lle "*fy mhobl,*" y mae Boothroyd yn dodi i mewn, "*y gelyn.*" "Dygaf *y gelyn* o Basan, ac o lenydd dyfnion y môr." Y cyfieithiad syml yw, "Allan o Basan y dygaf yn ol, dygaf yn ol allan o ddyfnderoedd y môr." Dengys y Salmydd fod Duw iachawdwriaeth ei bobl (adn. 20), yn Dduw'r dial ar ei elynion (adn. 21); ac er i'r gelynion geisio dianc, byddai eu hymgais yn aflwyddiannus, ac Israel Duw, wedi bod yn hirorthrymedig ganddynt, yn gweinyddu'r dialedd arnynt. Yr un meddwl sydd i'r geiriau hyn ag yn Amos ix. 1, 2, 3: "Ni ffy ymaith un o honynt a ffo, ac ni ddianc o honynt a ddiango. Pe cloddient hyd uffern, fy llaw a'u tynai hwynt oddiyno; a phe dringent i'r nefoedd, mi a'u disgynwn hwynt oddiyno; a phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymerwn hwynt oddiyno; a phe ymguddient o'm golwg yn ngwaelod y môr, oddiyno y gorchymynaf i'r sarph eu brathu hwynt." Darlunir y gelynion gan y Salmydd, ar ol colli'r dydd yn y frwydr, yn ffoi ymaith; a dyna hwy yn eu ffoedigaeth wedi cyrhaedd Basan, ac felly wedi myned allan o derfyn Israel; ac yr oedd yn nghoedwigoedd mynyddoedd Basan ddigonedd o ymguddfëydd, a lleoedd anhawdd i fyddin fyned atynt. Ond yno caiff llaw Duw Israel eu goddiweddyd, a'u dwyn yn ol i gwblhâu goruchafiaeth ei bobl arnynt. Ië, ped ymguddient hyd yn nôd yn ngwaelodion y môr mawr—yr hyn oedd ynddo ei hun yn anmnhosibl yn cael ei ganiatâu fel yn bosibl—yno y canfyddid hwynt gan lygad yr Hollwybodol, ac y gafaelid ynddynt gan law yr Hollalluog. Mai dyna feddwl y geiriau, "Dygaf yn ol, &c.," ac nid dychweliad pobl yr Arglwydd o unrhyw dir caethiwed, neu fôr o drallod, fel y mynasai'r cyfieithwyr i ni ddeall, sydd amlwg oddiwrth adn. 23, yr hon a gawn yn narlleniad Delitzsch, "Fel y gallot drochi dy droed mewn gwaed, fel y caffo tafod dy gwn ei gyfran o'r gelyn;" felly y cei lawn orphen dy fuddugoliaeth a'th oruchafiaeth arnynt.

# Barddoniaeth.

## GOBAITH CRISTION AR WELY MARW.

FFARWEL bellach fyd a'i flysiau,
Ffarwel ddwysion demtasiynau,
Ffarwel bechod!—ddedwydd enyd!
Gwelaf wawl tragwyddol wynfyd

Ffarwel flin a phoethion frwydrau,
Gyda llu o anhawsderau;
Cenad nef yn awr orch'mynodd
"Arfau i lawr! mae 'r frwydr drosodd!"

Ust! pa beth yw 'r per adseiniau
Ar fy nghlyw sy 'n tyner chwarau,
Fel pe byddai nefol gwmni
Yn fy nghwrdd gan fwyn delori?

Ffodd y t'w'llwch, daeth y golau;
Pur nefolaidd aur belydrau,
Dreiddiant lèn y gaddug arw,
Nos anhunedd gwely marw.

O fendigaid Arglwydd Iesu!
Dygaist aflan un i fyny
O gaethiwed maith a gwendid
I fwynhâd o gyflawn ryddid.

Yn dy freichiau pur yr awrhon
Ffodd fy ofnau a'm hammheuon;
Croesaw, angeu, pan y myni,—
Trech na'th d'w'llwch yw 'r goleuni.

Ffarwel, fyd, mae genyf weithian
Ddedwydd ran,—fy Iesu 'i hunan!
Nef sydd yn ei gwmni odiaeth,
Er yn afon ddu marwolaeth.

Ië, mwy na mawr goncwerwr,
Er mor wan, wyf yn fy Mhrynwr;
Gydag ef caf ddedwydd fwyniant,
Fry yn nghartref y gogoniant.

ELEANOR DAVIES.

*Manchester.*

---

## LLINELLAU RHIGYMOL.

### *Pen a Chalon.*

PEN yn oer, a chalon wresog,
Gyda 'u gilydd sydd ardderchog.

### *Ysglyfaeth y Llew.*

Cadd John ei ddyfetha. Ai ê! sut y bu?
Nid oedd a'i hattaliai i mewn i'r "Llew Du."

### *Tŷ Coffi.*

Gwych iawn yw 'r ddiod geir yn y tŷ yma;—
Diod a foddia, a fuddia, ac na feddwa.

### *Rhagori.*

Pe byddit ond cobler, yn hyny myn fod
Y goreu yn agos neu bell,
Neu ynte ond tincer, na chaffed neb glod
Am drwsio hen grochan yn well.

PRYDYDD BACH.

---

# Bwrdd y Golygydd.

### Y DECHREUWYR CANU.

BARCHEDIG OLYGYDD,—Gwelwch yn dda ganiatâu ychydig o'ch gofod i mi ar y mater uchod.

Wrth ddarllen y llythyr diweddaf gan *Un o Feibion Asaph*, nis gallwn lai na theimlo ei fod yn cyfeiliorni yn fawr gydag un rhan o'i bwnc. Pan yn sôn am y dechreuwr anfedrus, mae yn sicr ei fod yn dyweyd gwirionedd, a gwirionedd sydd raid ei deimlo nes gweithredu, sef nas gellir cael diwygiad tra y byddo rhai anfedrus yn trawsfeddiannu y swydd. Yn wir, syr, mae lliaws o ddechreuwyr canu yn debyg i'r "ci yn y rhesel," yr hwn *nas gall* fwyta y gwair ei hunan, ac *na chaiff* y march ei fwyta ganddo. Credaf mai gwaith a dyledswydd ein heglwysi ydyw gorchymyn y cyfryw un o'r ffordd, gan osod y dyn mwyaf cymhwys yn ei le. Mae yn wir y costiai hyny yn chwerw i rywrai am yr amser; ond talai ar ei ganfed yn fuan i gannoedd o'n heglwysi. Yn sicr, mae llawer iawn o ddechreuwyr canu yn rhwystr i lwyddiant crefydd yn y wlad, gan eu bod trwy eu hanwybodaeth, eu hanallu, a'u hunanoldeb, yn cadw y rhan bwysig hon mor ddilewyrch, yr hyn sydd yn effeithio ar holl amgylchiadau y gynnulleidfa a'r eglwys.

Ond at y rhan arall o'r llythyr yr oeddwn yn meddwl galw sylw, sef y rhan lle mae yn cyfeirio at ddysgu tônau newyddion. Mae ei gynllun o ymweled â'r cynnulleidfaoedd gan arolygwr cerddorol yn sicr o fod yn un da, ac yn beth yr ydym wedi sôn am dano er ys blynyddau; ond ofnaf mai sôn fydd y cyfan. Ond mae amcan yr ymweliadau yn ol awgrym *Un o Feibion Asaph* yn ammheus iawn. Os dysgu tônau newyddion ydyw ei amcan, mae yn hollol gyfeiliornus. Soniai am ddysgu pedair ar hugain o dônau newyddion mewn blwyddyn. Beth fydd yr effaith, tybed? Ai gwella y ganiadaeth? Na choelia' i fawr. Onid gormod o ddysgu tônau newyddion sydd wedi bod am y blynyddoedd diweddaf? Beth ydyw sefyllfa caniadaeth gynnulleidfaol yn bresennol? Ai nid myned yn llai cynnulleidfaol, ac yn fwy corawl, y mae yn barhâus? Mae profiad yn fy ngorfodi i ddyweyd, "Ië." Yr achos mwyaf uniongyrchol o hyny yw dysgu gormod o dônau newyddion.

Mae tônau newyddion yn cael eu canu yn y gynnulleidfa mor fynych, fel y mae y *lliaws* yn ofni canu, a'r canlyniad ydyw, fod y canu yn cael ei adael i'r *ychydig* hyny sydd yn ddigon ffyddlawn i ddilyn y cyfarfodydd canu, ac i ddysgu y tônau heb lawer o drafferth. Ac mor fuan ag y creda y blaenor canu fod rhai o'r cantorion yn alluog i ganu tôn benodol, yna efe a rydd brawf arni y cyfle cyntaf a gaiff. Mae y gynnulleidfa yn clywed y dôn yn ddyeithr a newydd, ac maent yn gwrando, gan feddwl beth a all hi fod; a chyn y byddant wedi cael gwybod, bydd y *côr* bach wedi gorphen, a phawb yn eistedd i lawr. Gallai y cenir y dôn hono drachefn y Sabboth canlynol, ac hwyrach bob Sabboth am dri mis, ond nid ar yr un emyn gymaint a dwywaith. Bydd tôn newydd arall wedi ei dysgu gan y côr yn ystod yr amser hwnw, a rhaid rhoddi prawf arni hithau wrth gwrs. Ac felly bydd hono yn cael ei chanu bob cyfle a geir; ac fe fydd agos yr holl dônau a genir mewn gwasanaeth addoliadol yn rhai newyddion. Yr effaith naturiol a gaiff hyn ar y lliaws, fydd eu gwneyd yn ddifater ynghylch y canu mawl; ac y maent yn dyfod i deimlo mai gwaith y *côr* ydyw canu, ac nad oes a wnelont hwy ddim âg ef.

Dyma sefyllfa llawer, ïe, mwyafrif ein cynnulleidfaoedd yn bresennol, yn Neheudir a Gogledd Cymru. Felly mae ein canu yn myned, fel y dywedasom, yn llai cynnulleidfaol, ac yn fwy corawl yn wastadol. Nid dysgu tônau newyddion sydd eisieu yn awr, ond dysgu rhoddi ystyr i'r tônau a'r geiriau a genir. Mae mwy o eisieu dysgu y geiriau, ac ymollwng i'w hysbryd, nag sydd o eisieu dysgu tônau newyddion.

Yr oedd llwyddiant mawr canu yr hen bobl yn y ffaith nad oedd ganddynt ond nifer fechan iawn o dônau, ac felly y rhai hyny yn cael eu canu yn fynych, nes yr oeddynt yn cael eu dysgu yn drwyadl, a'u canu heb betruster. Peth arall pwysig iawn yn nghanu yr hen bobl oedd, fod geiriau arbenig yn cael eu canu bob amser ar dônau arbenig. Pan glywid pennill yn cael ei ddarllen neu ei adrodd i'w ganu, yr oedd y meddwl yn rhedeg yn naturiol at dôn arbenig y byddid yn arfer ei ganu arni, a phan ddechreuai y blaenor y cyfryw dôn, byddai yr holl bobl ar unwaith yn ymdaflu iddi. Mae yn wir fod gan hyn ei anfanteision yn ogystal a'i fanteision; ond pa un yw y mwyaf pwysig?

Gallai y câf ddychwelyd at y pwnc eto, "os Duw a'i myn," ac os derbyniol gan y Golygydd a'r darllenwyr.—Ydwyf, yr eiddoch, &c.,

CERDDOR.

---

### CYFEISTEDDFODAU Y GYMDEITHASFA.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR,—Goddefwch air o ymliwiad caredig yn erbyn tuedd rhai brodyr pybyr yn ein plith i amlhâu nifer cyfeisteddfodau sefydlog Cymdeithasfa y Gogledd.

Heblaw y Cyfeisteddfod Cyffredinol, y mae genym erbyn hyn saith o gyfeisteddfodau sefydlog yn gyfochrog â'r un cyffredinol; pob un o honynt yn gynnwysedig o etholedigion gan y Cyfarfodydd Misol, treuliau teithio pob un o honynt yn syrthio ar "yr achos," a phob un o honynt, pan yn ymgynnull mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa, yn ychwanegiad teimladwy at gyfrifoldeb yr ardal fydd yn ei chynnal.

Y mae rhai o'r cyfeisteddfodau hyn o hen osodiad, ac yn gwbl angheurheidiol i ddygiad ymlaen y gwaith. Y cwbl a ddywedaf ydyw, Nac ychwaneger eu nifer heb yn gyntaf fod cwbl sicrwydd nad ellir gwneyd y gwaith

gan y Cyfeisteddfod Cyffredinol, neu gan isbwyllgorau wedi eu ffurfio o hono.

Dyma un o'r rhai diweddaf a sefydlwyd: Y Cyfeisteddfod Dirwestol, er engraifft,—Gwelaf yn nghofnodau Cymdeithasfa Harlech fod y cyfeisteddfod hwn wedi ei gynnull gan ei gadeirydd diflin i'r ddwy Gymdeithasfa ddiweddaf; rhai Cyfarfodydd Misol yn anfon aelodau pwrpasol iddo ef yn unig, ac eraill, yn ddoethach fe allai, yn ymddiried yr orchwyliaeth i'w cynnrychiolwyr cyffredinol. Beth a wnaed, neu beth a allesid ei wneyd, gan y Cyfeisteddfod Cyffredinol, neu gan hanner dwsin o frodyr penodedig ar y pryd? Mewn cornelau, megys — rhwng eisteddiadau rheolaidd y Gymdeithasfa, yr ymgynnullai, mi dybiaf; a pha beth ydyw ffrwyth y galwad fel hyn i ddwy Gymdeithasfa? Wel hynyma: tri o benderfyniadau rhagorol o ran ysbryd, ond heb ddim ynddynt nad allasai Cadeirydd neu Ysgrifenydd y Pwyllgor eu ffurfio yn ei ystafell wely cyn boreubryd gyda phob sicrwydd y cawsent dderbyniad y Gymdeithasfa heb ddadl nac ymryson. Eu swm ydyw, fod y Gymdeithasfa yn "gofidio" am anghymedroldeb y wlad, yn "llawenhâu" am "lwyddiant rhyfeddol" yr achos dirwestol y dyddiau hyn, yn "hyderus obeithio" am gydweithrediad eglwysi Crist â'r gwaith, ac yn "annog" fod i lyfrestr o enwau llwyrymwrthodwyr gael ei gadw gan swyddogion pob eglwys.

Tybed, yn awr, fod eisieu i bedwar ar ddeg o gynnrychiolwyr neilluol o gynifer a hyny o Gyfarfodydd Misol gyfarfod yn Llangollen a Harlech cyn y gallasai Cymdeithasfa Gogledd Cymru "ofidio," "llawenhâu," "hyderus obeithio," ac "annog" mewn cysylltiad â'r achos dirwestol? Nid ydwyf wrth hyn mewn un modd yn dibrisio gwaith nac amcan rhagorol y cyfeisteddfod; ac nid ydwyf yn meddwl y gallasai wneyd yn amgen nag y gwnaeth. Swm a nôd y cwbl ydyw hyn,—Bydded y Gymdeithasfa yn ochelgar iawn i ffurfio cyfeisteddfodau sefydlog cyn cael prawf fod gwir anghen am danynt. Gofyniad call ydyw hwnw sydd gan y Sais, *Is the game worth the candle?* —Yr eiddoch yn wir,

UN PROFIADOL.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA HARLECH.

EBRILL 26, 27, A'R 28AIN, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

DYDD MERCHER, EBRILL 26AIN.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd cenadwriaethau o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, at y rhai y cyfeirir eto yn mhenderfyniadau y Gymdeithasfa.

III. Caed ymddyddan maith ar y mater a gynnwysid yn y genadwri o Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd i'r Gymdeithasfa, sef, "Ein bod yn dymuno ar i'r holl gynnrychiolwyr o'r holl Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau gael pleidleisio yn newisiad swyddogion y Gymdeithasfa, fel ar faterion eraill," ac yn y genadwri o Sir Fflint i'r Gymdeithasfa ddiweddaf, ynglŷn â'r un mater. Darllenwyd crynodeb o'r ymdriniaeth a fu ar hyn yn Nghymdeithasfa Llangollen, a gofynwyd a fu y mater dan sylw mewn rhai o'r Cyfarfodydd Misol eraill. Cyttunwyd yn ebrwydd ac yn unfrydol ar y penderfyniad canlynol: "Fod yr holl Gynnrychiolwyr i gael pleidleisio yn newisiad Llywydd ac Ysgrifenydd y Gymdeithasfa fel ar faterion eraill."

Gyda golwg ar yr ail ran o'r genadwri o Sir Fflint, yn dwyn perthynas â'r modd i fyned ymlaen ar adeg y dewisiad, bu ymddyddan meithach ar y mater hwn, ac amryw gynnygion o flaen y Cyfeisteddfod, gyda'r amcan o ddyfod i benderfyniad boddhaol arno. Amlygid dymuniad yn ystod yr ymddyddan am i etholiad i swyddau gael ei ddwyn ymlaen yn y dull mwyaf syml ag oedd yn ddichonadwy, heb darfu ond lleied ag fyddo yn bosibl ar ysbryd addoli ein cyfarfodydd. Yr oedd rhai yn teimlo yn erbyn pleidleisio ddwywaith neu dair ar un dewisiad, ac yn barod i gymeryd yr uchaf ar y rhestr, pa nifer bynag o bleidleisiau fyddai o'i blaid. Teimlai eraill o blaid i'r pleidleisiau gael eu rhoddi ar enwau fyddont wedi eu cynnyg a'u cefnogi yn y Gymdeithasfa.—Rhoddwyd tri chynnygiad o flaen y Cyfeisteddfod:—(1.) Fod y pleidleisiau yn newisiad Llywydd ac Ysgrifenydd i'w cymeryd ar enwau fyddont wedi eu cynnyg a'u cefnogi gan y Cynnrychiolwyr yn Mwrdd y Gymdeithasfa.—(2.) Fod yr uchaf ar y rhestr ar ol y pleidleisio dirgel cyntaf i gael ei ystyried wedi ei ethol yn rheolaidd.—(3.) Ein bod yn cadw at y drefn bresennol o ethol swyddogion (gyda'r cyfnewidiad o ganiatâu i'r holl Gynnrychiolwyr hawl i bleidleisio), sef trwy bleidlais ddirgel heb *nomination*, gan ystyried mwyafrif o'r pleidleisiau yn anghenrheidiol i wneyd y dewisiad yn un rheolaidd.—Cymeradwywyd y cynnygiad diweddaf trwy fwyafrif mawr.

*Parhâd o Gyfeisteddfod Gyffredinol y Gymdeithasfa, am hanner awr wedi chwech yn yr hwyr.*

**I. Darllenwyd Adroddiad y Pwyllgor ar y Rheolau i dderbyn ac ordeinio pregethwyr o fewn cylch Cymdeithasfa y Gogledd, gan Dr. Hughes.**

Yn unol â phenderfyniad yn Nghymdeithasfa Pont Menai, Rhagfyr, 1880, ymgyfarfu y Pwyllgor a benodwyd i adystyried y Rheolau ar Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr, &c., yn Rhyl, ar ddau adeg, Tachwedd 3, 1881, Cadeirydd,—y Parch. R. Roberts, Dolgellau; Ysgrifenydd,—Mr. R. Rowland, Blaenau Ffestiniog; ac Ebrill 18, 1882, Cadeirydd,—y Parch. Dr. Edwards; Ysgrifenydd,—Mr. R. Rowland: a chyttunwyd ar y rheolau canlynol i'w cynnyg i'r Gymdeithasfa.

*Rheolau Cymdeithasfa y Gogledd, i Dderbyn ac i Ordeinio Pregethwyr.*

I. Ein bod yn annog y gweinidogion a'r blaenoriaid i gadw sylw manwl ar yr eglwysi er mwyn canfod a meithrin cymhwysderau i weinidogaeth y gair. Ac wedi i swyddogion eglwys ddeall fod ynddi ŵr ieuanc âg ynddo duedd at y weinidogaeth, os barnant ei fod o gymeriad da a defnyddioldeb blaenorol, ac yn meddu ar ysbryd a dawn y weinidogaeth, dysgwylir iddynt roddi iddo gyfleusderau pellach i arfer ei ddawn yn yr Ysgol Sabbothol, Cyfarfodydd Dirwestol, Cyfarfodydd Gweddi, Cyfarfodydd Eglwysig, &c., am amser digonol i alluogi yr eglwys i ffurfio barn am ei gymhwysderau i'r gwaith.

II. Wedi prawf boddhaol i'r swyddogion fod yr ymgeisydd yn meddu y cymhwysderau anghenrheidiol, gofyner cymeradwyaeth yr eglwys, trwy arwydd, i gyflwyno ei achos i'r Cyfarfod Dosbarth; ac os ceir boddlonrwydd yn eu hadroddiad ddarfod iddynt weithredu yn rheolaidd, trefner i'r ymgeisydd ymweled âg Ysgolion Sabbothol ac Eglwysi y Dosbarth, i anerch a holwyddori yr Ysgolion, ac esbonio rhanau o'r Ysgrythyrau yn y Cyfarfodydd Eglwysig a'r Cyfarfodydd Gweddi.

III. Pan fyddo yr ymgeisydd wedi ymweled bedair gwaith, o leiaf, â holl eglwysi y Dosbarth, dyger ei achos drachefn gan y swyddogion i'r Cyfarfod Dosbarth, ac os derbynia gymeradwyaeth tair rhan o bedair o'r swyddogion fyddont yn bresennol, awdurdoder swyddogion yr eglwys i anfon cais i'r Cyfarfod Misol am genadau—gweinidog a blaenor—i gynnorthwyo yr eglwys i ffurfio barn am gymhwysderau yr ymgeisydd, trwy ei holi am ei wybodaeth Ysgrythyrol, ei brofiad, a'i gymhelliadau, ac i dderbyn ei llais ar ei achos trwy bleidlais ddirgel; a bydd yn ofynol iddo gael dwy ran o dair o bleidleisiau yr aelodau fyddont ar y pryd yn bresennol ac yn pleidleisio, cyn y gellir myned ymlaen ymhellach gyda'r achos.

IV. Pan wneir ei ddewisiad yn hysbys i'r Cyfarfod Misol, ynghyd a chymeradwyaeth y cenadau o hono, penoder brodyr i'w arholi am ei wybodaeth gyffredinol o'r Ysgrythyrau ac ar bynciau athrawiaethol crefydd, &c., mewn ysgrifen yn gystal ag yn gyhoeddus; wedi hysbysu iddo y materion, rhodder iddo ddau fis i ymbarotoi ar gyfer yr arholiad; ac yna, os derbynia gymeradwyaeth y Cyfarfod Misol, gellir ei dderbyn fel pregethwr i'r holl Sir, ond nid yn aelod o'r Cyfarfod Misol cyn pen dwy flynedd ar ol ei arholiad yn y Cyfarfod Misol.

V. Nad oes un pregethwr ar dir y gall y Cyfarfod Misol ei gyflwyno i'r Gymdeithasfa, i'w ordeinio i'r holl waith, oddieithr iddo fod cyn hyny yn pregethu bum' mlynedd o leiaf o adeg ei arholiad yn y Cyfarfod Misol, ac wedi myned yn llwyddiannus trwy yr Arholiad Cymanfäol, yn gystal a rhoddi prawf boddlonol o'i ffyddlondeb, ei ddifrifwch, a'i ddoniau addas i waith yr Arglwydd, ac wedi derbyn dwy ran o dair o bleidleisiau yr eglwysi fyddont yn cael eu cynnrychioli yn y Cyfarfod Misol yr ymdrinid â'i achos.

VI. Nad oes enw un pregethwr i'w osod ger bron y Cyfarfod Misol, oddieithr y rhai fyddont wedi eu galw yn weinidogion ar eglwysi, ac yn cael eu cynnyg ganddynt i'w hordeinio.

*Rheolau Cymdeithasfa y Gogledd i ddewis Gweinidogion ar Eglwysi.*

I. Wedi i eglwys, neu nifer o eglwysi mewn undeb â'u gilydd, ddyfod i'r penderfyniad, trwy fwyafrif digonol, i alw brawd i'w gwasanaethu fel gweinidog, gwneled y swyddogion hyny yn hysbys yn Nghyfarfod Misol y Sir, yr hwn sydd i benodi gweinidog a blaenor i gymeryd llais yr eglwys, neu'r eglwysi, trwy bleidlais ddirgel.

II. Os bydd tair rhan o bedair o'r aelodau, fyddont ar y pryd yn bresennol ac yn pleidleisio, yn ei alw, bydd wedi ei ddewis yn rheolaidd yn weinidog i'r eglwys, yn ddarostyngedig i gymeradwyaeth y Cyfarfod Misol.

*Nodyn Eglurhaol.*—Pan fyddo nifer o eglwysi yn ymuno, tair rhan o bedair o aelodau yr eglwysi gyda'u gilydd sydd yn anghenrheidiol i sicrhâu galwad rheolaidd.

III. Nad yw yr un a ddewisir i wasanaethu eglwys ar dir y gellir ei gyflwyno gan yr eglwys i'r Cyfarfod Misol, i'w ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth, oddieithr iddo fod wedi ei gwasanaethu am flwyddyn o leiaf ar ol ei sefydliad.

IV. Fod yn anghenrheidiol i ymadawiad gweinidog âg eglwys, yn gystal a'i alwad gan eglwys, gael ei hysbysu i'r Cyfarfod Misol, a'i gadarnhâu ganddo.

Awgryma y Cyfeisteddfod y priodoldeb o ychwanegu y geiriau canlynol ar ol "ar y pryd," yn y I. o'r "Rheolau i Ddewis Blaenoriaid"—"*ac yn pleidleisio.*"

Wedi rhai sylwadau eglurhaol ar y cyfnewidiadau a gynnygir, penderfynwyd fod y rheolau i gael eu hargraffu yn y Cylchlythyr a'u cyflwyno i sylw y Siroedd, gyda dymuniad ar iddynt roddi ystyriaeth idd-

ynt a dwyn eu barn am danynt i Gymdeithasfa Medi.

II. Cyfeiriwyd yn deimladol at gystudd trwm y brawd anwyl a pharchedig Emrys Evans, a phenderfynwyd ein bod fel Cymdeithasfa yn anfon ein cofion serchog ato, ac yn addaw dwyn ei achos at Dduw yn ein gweddïau.

III. Coffäwyd hefyd am afiechyd y ddau frawd ieuangach, y Parch. Owen Owens, Liverpool, a'r Parch. John Evans, Croesoswallt, a chyttunwyd i anfon cofion didwyll y Gymdeithasfa atynt yn eu gwendid corfforol presennol.

IV. Hysbyswyd gan yr Ysgrifenydd am y llythyrau a dderbyniasai oddiwrth Hugh Owen, Ysw., mab y diweddar Syr Hugh Owen, yn cydnabod derbyniad y penderfyniad a basiwyd yn Nghymdeithasfa Llangollen ar farwolaeth ei dad, ac yn hysbysu y gwerth mawr a rydd y teulu ar syniad uchel y Gymdeithasfa am ei gymeriad a'i lafur. Hefyd coffäwyd fod Mrs. Williams, Talsarnau, yn dymuno diolch am yr amlygiad a gafodd o gydymdeimlad ar farwolaeth ei phriod.

V. Ymddyddanwyd â'r brodyr canlynol oeddent wedi eu dewis gan y gwahanol Siroedd i'w hordeinio y flwyddyn hon, sef Hugh Jones, Bryndu. Morris Owen Jones, Penygarnedd, T. T. Morgan, Beaumaris, o Sir Fôn; John Owen Jones, Llanengan, Thomas Williams, Rhydyclafdy, Robert Williams, Nant Gwrtheyrn, a John Hughes, Edeyrn, o Lleyn ac Eifionydd; David R. Griffith, Rhuddlan, o Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd; William Hobley, Buckley, o Gyfarfod Misol Sir Fflint; John Gwynoro Davies, Llanuwchllyn, Dwyrain Meirionydd; Richard Edwards, Llansilin, Trefaldwyn Isaf; ac Ioan Davies, Barrow-in-Furness, dan arolygiad Cyfarfod Misol Liverpool.

Wedi ymddyddan pwyllog â hwy am eu profiad crefyddol a'u cymhelliadau i waith y weinidogaeth, ac am eu teimladau yn ngwyneb eu galwad presennol, cyttunwyd, fod y deuddeg brawd uchod yn cael eu cymeradwyo i'w hordeinio y flwyddyn hon.

DYDD IAU, EBRILL 27AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr, a Chyfeisteddfod y Blaenoriaid, am* 10 *o'r gloch.*

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

I. Traddodwyd anerchiad gan y Parchedig Daniel Rowlands, M.A., y Llywydd am y flwyddyn ddiweddaf, wrth roddi y gadair i fyny i'w olynydd, y Parchedig Owen Thomas, D.D., yn yr hwn y cyfeiriai at y pethau yr ymdriniwyd â hwy yn Nghymdeithasfäoedd y flwyddyn ddiweddaf, at y dymunoldeb o beidio treulio dim o nerth ein peiriant crefyddol yn y fath fodd ag y byddo nid yn unig ei amcan yn cael ei golli, ond a fyddo yn niweidiol i'w gyfansoddiad, at ein Cenadaeth Dramor, ac at y Diwygiad Dirwestol, a'r pwys o'n bod fel Cyfundeb yn parhâu yn flaenllaw i bleidio pob symudiad sydd o duedd i sobri ein gwlad.

Cyttunwyd yn unfrydol, Ein bod fel Cymdeithasfa yn cyflwyno ein diolchgarwch diffuant i Mr. Rowlands am ei fedrusrwydd a'i ffyddlondeb fel Llywydd am y flwyddyn ddiweddaf, ac am ei anerchiad rhagorol a draddodwyd ganddo yn awr.

II. Hysbyswyd fod y Gymanfa Gyffredinol nesaf i fod yn y Bala, ar ddyddiau Mawrth, Mercher, Iau, a Gwener, Mehefin y 13, 14, 15, a'r 16eg; yr eisteddiad cyntaf i ddechre am 6 o'r gloch prydnawn ddydd Mawrth y 13eg.

III. Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Llangefni, Mehefin 28, 29, a'r 30ain; Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol i gyfarfod nos Fawrth y 27ain, a Chyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i ddechre am 2 o'r gloch ddydd Mercher yr 28ain.

IV. Darllenwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yr hwn oedd fel y canlyn:—

LLYWYDD,—MR. OWEN WILLIAMS, BODFFARI.—Wedi galw enwau y Cynnrychiolwyr, a darllen cofnodau y cyfarfod diweddaf, pasiwyd,—1. Fod traul y Cynnrychiolwyr a ddanfonwyd i'r Pwyllgor yn Rhyl i ffurfio Rheolau derbyn Gweinidogion i gael ei dwyn gan eu Cyfarfodydd Misol.—2. Fod y Parch. T. J. Wheldon i draddodi yr Araeth ar Natur Eglwys yn y Gymdeithasfa nesaf, a'r Parch. D. Saunders i roddi y Cynghor.—Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod i ymdrin â'r mater gohiriedig, sef gwaith a chyfrifoldeb y swydd ddiaconaidd. Cafwyd ymddyddan buddiol ar y mater hwn mewn gwahanol agweddau, ac yn y diwedd penderfynwyd,—Fod y cyfarfod hwn yn teimlo y pwys mawr sydd ar fod y Blaenoriaid yn cyfateb i'r enw sydd arnynt, trwy flaenori ymhob gweithred dda —bod yn ffyddlawn a theyrngarol i'r Cyfundeb yn ei holl symudiadau—a bod yn ffyddlawn i roddi eu presenoldeb yn yr holl gyfarfodydd eglwysig, a chyfarfodydd eraill yr wythnos—ac yn neillduol yn dymuno ar fod pob cefnogaeth yn cael ei roddi i'r Achos Dirwestol yn y wedd newydd sydd arno yn ein mysg.—Penderfynwyd hefyd fod yr un mater hwn i fod o dan sylw yn Nghyfarfod y Blaenoriaid yn y Gymdeithasfa nesaf.—ELEAZAR ROBERTS, *Ysg. pro tem.*

Penderfynwyd fod yr Adroddiad uchod yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo, a'n bod yn cadarnhâu penodiad y Parch. T. J. Wheldon, B.A., i draddodi yr Araeth ar

Natur Eglwys, a'r Parch. D. Saunders i roddi y Cynghor yn yr ordeiniad yn y Gymdeithasfa nesaf, ac yn cyflwyno yn wresog i sylw yr holl eglwysi y pethau a gynnwysir yn Adroddiad Cyfeisteddfod y brodyr y Blaenoriaid.

V. Penderfynwyd fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu tŷ perthynol i'r Cyfundeb yn Wood Street, Birmingham.

VI. Cadarnhäwyd penodiad Mr. John Jones, Ashlands, i fod yn aelod o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol ac o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig.

VII. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. David Jones, Gwyddelwern, yn aelod o Bwyllgor Dirwestol y Gymdeithasfa.

VIII. Cyttunwyd yn unfrydol,—Fod yr holl Gynnrychiolwyr o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau i feddu hawl i bleidleisio yn newisiad Llywydd ac Ysgrifenydd y Gymdeithasfa.

IX. Penderfynwyd,—Ein bod, ar ol gwrando adroddiad yr Henaduriaeth ar achos brawd penodol oedd yn y weinidogaeth, yn derbyn ei ymddiswyddiad, ac yn dadgan nad ydyw mwyach yn weinidog na phregethwr yn ein Cyfundeb.

X. Cadarnhäwyd ein bod i anfon cofion serchog y Gymdeithasfa at y Parchn. Emrys Evans, Owen Owens, a John Evans. Penderfynwyd hefyd anfon at Mrs. Griffiths, Harlech, ddadganiad o gydymdeimlad y Gymdeithasfa â hi yn ngwyneb y brofedigaeth a'i cyfarfu yn marwolaeth ei merch yn ystod y dyddiau y cynnelid y Gymdeithasfa.

XI. Penderfynwyd yn unfrydol fod y deuddeg brawd a gyflwynwyd gan y Siroedd, ac yr ymddyddanwyd â hwy y dydd blaenorol, yn cael eu cymeradwyo i'w hordeinio yn y Gymdeithasfa nesaf.

XII. Cyttunwyd ar y penderfyniad canlynol:—Wrth ystyried y pwys o fod pob cofnodau a manylion hanesyddol ynglŷn â'n Cyfundeb yn cael eu gosod mewn cadwraeth briodol, ein bod yn annog ar fod ymchwiliad dioedi yn cael ei wneyd am bob peth o'r natur hyny sydd heb fyned ar goll ynglŷn â'n heglwysi, ein Cyfarfodydd Misol, a'r Gymdeithasfa; a'u bod ynglŷn â'r eglwysi yn cael eu cadw dan ofal Ysgrifenydd pob eglwys, ynglŷn â'r Cyfarfodydd Misol dan ofal Ysgrifenyddion y Cyfarfodydd Misol, ac ynglŷn â'r Gymdeithasfa dan ofal Ysgrifenydd y Gymdeithasfa. Hefyd, fod ymdrech i gael ei wneyd i gael holl Gylchlythyrau y Gymdeithasfa wedi eu rhwymo yn briodol, i fod yn Llyfrgell ein Hathrofa, a hefyd dan ofal Ysgrifenydd y Gymdeithasfa.

D.S. *Ymofynir eto a fydd hyn yn cael ei wneyd.*

XIII. Argymhellwyd i sylw yr eglwysi yr Araeth ragorol ar Natur Eglwys, a draddodwyd gan y Parch. Griffith Parry, Aberystwyth, yn Nghymdeithasfa Dowlais, ac sydd newydd gael ei chyhoeddi. Hefyd, llefarwyd yn gymeradwyol am y llyfrau canlynol, a chymhellwyd ein hardaloedd a'n gwrandäwyr i'w darllen:—*Pregeth ar Eiriau Anweddus*, gan un o weinidogion Gorllewin Meirionydd; *Hanes yr Athrawiaeth Gristionogol*, gan Dr. Hughes, sydd yn awr yn y wasg; ac un arall ar *Ganon yr Ysgrythyrau*, gan y Parch. G. Ellis, M.A.; Cyfrol arall o *Bregethau y diweddar Barch. E. Morgan;* a *Chofiant am y diweddar Ieuan Gwyllt*, gan y Parch. John Eiddon Jones.

XIV. Darllenwyd adroddiad Trysorfa y Gweinidogion, yr hwn oedd fel y canlyn:—

Yr oedd yn bresennol:—o *Fôn*, y Parch. John Prichard, Amlwch; o *Leyn ac Eifionydd*, y Parch. John Jones, Pencaenewydd, a Meistri John Ellis a R. J. Pritchard; o *Arfon*, y Parch. John Williams, Bangor, a Mr. Edward Jones; o *Ddyffryn Conwy*, Meistri John Hughes, Conwy, a Morris Davies, Llanrwst; o *Ddyffryn Clwyd*, y Parch. B. Hughes a Mr. John Roberts; o *Fflint*, Mr. Owen Williams, Bodffari; o *Ddwyrain Meirionydd*, y Parchn. D. Jones, Gwyddelwern; D. C. Edwards, M.A., Bala, a Mr. Jacob Jones, Bala; o *Orllewin Meirionydd*, y Parch. David Jones, Garegddu, a Meistri Hugh Jones, Dolgellau, ac Evan Griffith, Aberllefeni; o *Drefaldwyn Uchaf*, Mr. Richard Owen, Machynlleth; o *Drefaldwyn Isaf*, y Parch. John Pritchard, Birmingham; o *Henaduriaeth Trefaldwyn*, y Parch. W. Hinton Jones, a Mr. David Jones, Amwythig; o *Henaduriaeth Lancashire*, y Parch. Evan Williams, Runcorn; a Mr. W. H. Williams, Wrexham; o *Liverpool*, y Parch. Griffith Ellis, M.A., a Mr. Eleazar Roberts; o *Fanchester*, Mr. Robert Lloyd.

Etholwyd Mr. John Roberts, Foxhall, yn Gadeirydd.

1. Darllenwyd y *Balance Sheet*, yr hon oedd wedi ei chymeradwyo gan yr Archwilwyr, am 1881. Yr oedd y gweddill yn y Banc ddechreu 1881 yn £876 11s. 10c. Derbyniwyd mewn cymynroddion, £225 5s. 8c.; o'r Siroedd, £566 0s. 4c.; talwyd i fewn swm oedd ar dŷ, £600; llogau, £1,190 19s. 11c.; yn gwneyd cyfanswm o £3,458 17s. 9c. O'r swm yna talwyd i Aelodau a'u Teuluoedd, £2,073 7s. 11c.; yr oedd y treuliadau yn £64 15s. 1c., a'r gweddill yn y Banc yn £1,320 14s. 9c.; yn gwneyd cyfanswm fel o'r blaen o £3,458 17s. 9c. Yr oedd y taliadau allan yn 1881 yn fwy o £410 7s. 8c. nag oeddynt yn 1880. Yr oedd y taliadau i Aelodau a'u Teuluoedd (£2,073 7s. 11c.), a'r Treuliadau (£64 15s. 1c.), yn gwneyd £2,138 3s. Ond nid oedd arian yr Aelodau (£566 0s. 4c.) a'r llogau (£1,190 19s. 11c.) yn gwneyd ond £1,757 0s. 3c.; yr hyn oedd yn dangos fod y derbyniadau arferol yn rhy fach i gyfarfod

â'r treuliadau o £381 2s. 9c.; ac er cymeryd y cymynroddion (£225 5s. 8c.) i'r cyfrif, yr oedd y derbyniadau yn fyr o £155 17s. 1c. i gyfarfod â'r taliadau. Mae y taliadau i Aelodau a'u Teuluoedd yn ystod y deuddeng mlynedd yn £11,903 2s. 11c. Gwerth y drysorfa yn niwedd y flwyddyn oedd £24,800 14s. 9c.; llai o £155 17s. 1c. na'r hyn ydoedd yn niwedd 1830.

2. Penderfynwyd fod y cyfrif uchod yn cael ei dderbyn; ac yn ngwyneb fod y Taliadau allan yn myned gymaint yn fwy na'r Derbyniadau, cydolygid y byddai yn ddoeth i holl aelodau y Cyfeisteddfod ystyried yn ofalus, o hyn hyd yr adolygiad pum-mlynyddol nesaf, beth a fyddai oreu ei wneyd mewn trefn i sicrhâu diogelwch y drysorfa.

3. Yr oedd yn llawen gan y Cyfeisteddfod ddeall am y ddwy gymynrodd a dderbyniasid i'r drysorfa yn ystod y flwyddyn; a hyderir y bydd llawer o gyfeillion eraill yr un modd yn cofio yr achos pwysig hwn yn eu hewyllysiau. Penderfynwyd fod gair o gydnabyddiaeth garedig yn cael ei anfon at deuluoedd Captain Davies, Portdinorwic, a'r Parch. Thomas Hughes, Caernarfon, y rhai oeddent wedi gadael y cymynroddion, y cyntaf o £150 a'r ail o £100 at wasanaeth y drysorfa.

4. Cafwyd adroddiad gan ein brodyr, Meistri John Williams, Moss Bank House, a David Hughes, U.H., St. Domingo Grove, Liverpool, y rhai, yn ol cais y Cyfeisteddfod a'r Gymdeithasfa flwyddyn yn ol, a wnaethent *survey* o'r eiddo ar ba rai y rhoddwyd arian y drysorfa allan, ac a dystiolaethent fod yr eiddo yn sicrwydd llawn a boddhaol am yr arian. Penderfynwyd ein bod yn derbyn y dystiolaeth uchod gyda boddlonrwydd, ac fod diolchgarwch cynhes yn cael ei gyflwyno i'n dau frawd am y gwasanaeth gwerthfawr hwn.

5. Derbyniwyd cais am dderbyniad brawd ar y drysorfa, ond gohiriwyd yr achos i ystyriaeth pellach.

6. Rhoddwyd rhybudd o gynnygiad ar fod y Cyfeisteddfod yn cyfarfod mewn lle ac adeg ar wahan oddiwrth y Gymdeithasfa.

7. Trefnwyd ar fod Ffurf newydd yn cael ei pharotoi er rhoddi oedran y plant y gwneir cais ar eu rhan am gymhorth o'r drysorfa, fel y deallo y Swyddogion Sirol pa bryd y byddant wedi cyrhaedd yr oedran pan na fyddo dim yn ychwaneg i'w dalu drostynt.

8. Penderfynwyd fod cais yn cael ei wneyd at yr Ysgrifenyddion Sirol er deall pa bapyrau a allo fod yn anghenrheidiol arnynt hwy a'r Trysoryddion Sirol er cario y gwaith ymlaen, gan yr ymddengys fod yn anghenrheidiol argraffu cyflenwad newydd o bapyrau. Hefyd, penderfynwyd ychwanegu Ffurf er galluogi yr Ysgrifenyddion Sirol i drosglwyddo pob manylion anghenrheidiol ynglŷn â phob brawd a fyddo yn ymadael o'r naill Gyfarfod Misol neu Henaduriaeth i un arall; a phenderfynwyd argraffu y ffurfiau yn Saesoneg, at wasanaeth yr Henaduriaethau.

9. Diolchwyd yn gynhes i'r Trysorydd Cyffredinol, Dr. Gee, a hefyd i'r Ysgrifenydd Cyffredinol, yr Ysgrifenydd Arianol, a'r Archwilwyr, am eu gwasanaeth gwerthfawr i'r drysorfa yn ystod y flwyddyn a aeth heibio; a phenodwyd yr un personau i ofalu am y gwaith am y flwyddyn ddyfodol.

10. Diolchwyd i Mr. J. Roberts am ei wasanaeth fel Cadeirydd.—DANIEL ROWLANDS, *Ysgrifenydd.*

Penderfynwyd fod yr adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo gan y Gymdeithasfa.

XV. Cadarnhäwyd y penderfyniad fod Adroddiad y Pwyllgor ar y Rheolau i dderbyn ac ordeinio Pregethwyr yn cael ei gyflwyno i sylw y Siroedd, gyda dymuniad i lais ar y Rheolau ddyfod o'r Siroedd i Gymdeithasfa Medi.

XVI. Hysbyswyd gyda golwg ar y Drysorfa Gynnorthwyol, fod y Cenadon a benodasid i hyny wedi ymweled â'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau yn achos y drysorfa hon, a bod y casgliad wedi cael ei wneyd mewn rhai Siroedd ac yn cael ei wneyd yn bresennol mewn Siroedd eraill. Annogid ar i'r casgliad gael ei anfon o bob lle i'r Trysorydd, Mr. Peter Roberts, Llanelwy, a hanes y casgliad i'r Ysgrifenydd, y Parch. T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog, fel y gallo y Pwyllgor ymgyfarfod er gwneuthur y trefniadau pellach fyddont yn anghenrheidiol.

XVII. Cafwyd Adroddiad calonog iawn ar y cyfan o ansawdd yr achos crefyddol yn Ngorllewin Meirionydd, gan y Parch. Samuel Owen, Tanygrisiau, ac annogaethau seiliedig arno gan amryw o'r brodyr i ymdrech ychwanegol gyda'r Ysgol Sabbothol.

XVIII. Darllenwyd Adroddiad y Pwyllgor Dirwestol, yr hwn oedd fel y canlyn:—

Yr oedd yn bresennol yn y Cyfeisteddfod, y Parchedigion Daniel Rowlands, M.A., Bangor; John Prichard, Amlwch; Benjamin Hughes, Llanelwy; David Jones, Garegddu; H. Barrow Williams, Wrexham; Griffith Ellis, M.A., Bootle; J. Eiddon Jones, Llanrug; David Jones, Gwyddelwern; Mr. Robert Lloyd, Manchester.

Y Parch. Daniel Rowlands yn Gadeirydd.

Cyfarfu y Pwyllgor hwn yn y Gymdeithasfa o'r blaen ac hefyd yn y Gymdeithasfa hon, ac ar ol ystyriaeth bwyllog, cynnygir i'r Gymdeithasfa y penderfyniadau canlynol:—

1. Nad allwn fel Cymdeithasfa lai na gofidio yn ddwys wrth weled fel y mae anghymedroldeb yn parhâu i waradwyddo a drygu ardaloedd ein gwlad, a theimlwn ei bod yn ddyledswydd arnom alw yn ddifrifol ar ein holl eglwysi i godi i ymdrech arbenig y dyddiau hyn yn erbyn "meddwdod, cyfeddach, a diotta," ac i wneyd hyny mewn ffyddlondeb i Grist, achos yr hwn a golledir yn gymaint, ac amcanion bendigaid teyrnas yr hwn a lesteirir i'r fath raddau gan y drygau andwyol hyn.

2. Fod yn llawenydd mawr genym ddeall am y llwyddiant rhyfeddol sydd mewn

cynifer o fanau y dyddiau hyn ar yr Achos Dirwestol, ac yn arbenig ynglŷn â'r symudiad a adnabyddir fel yr Undeb Dirwestol Efengylaidd, neu Fyddin y Ruban Glas; ac wrth ystyried symledd a chrefyddolder y symudiad hwnw, a'r effeithiau tra dymunol sydd yn ei ddilyn, fod y Gymdeithasfa hon o galon yn dymuno iddo Dduw yn rhwydd, ac yn annog ein cyfeillion ymhob man i weithio mor egnïol ag y gallant o'i blaid.

3. Tra yn hyderus obeithio y ca ein cyfeillion ymhob man gydweithrediad cariadus cangenau eraill o Eglwys Crist yn ein gwlad, eto ein bod yn annog fod llyfr dan ofal y swyddogion ymhob eglwys i gymeryd enwau ein haelodau a'n gwrandäwyr ydynt eisoes yn llwyrymwrthodwyr, neu ydynt yn ymuno â'r symudiad presennol, a diogelu parhâd y gwaith da yn y dyfodol. Hefyd fod cyfeisteddfod mewn cysylltiad â phob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth er arolygu y gwaith yn yr eglwysi, a chydweithredu â Chyfeisteddfod y Gymdeithasfa.—DAVID JONES, *Ysgrifenydd.*

Cynnygiwyd fod yr Adroddiad uchod yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo gan y Gymdeithasfa, â'r hyn y cyttunwyd yn unfrydol.

XIX. Coffäwyd yn barchus a hiraethlawn am y brodyr yn y weinidogaeth a hunasant er y Gymdeithasfa ddiweddaf, sef y Parchedig John Williams, Llandrillo, a'r Parchedig David Williams, Croesoswallt; a rhoddwyd ar yr Ysgrifenydd i gyflwyno i'w gweddwon gydymdeimlad y Gymdeithasfa â hwy yn eu galar.

DYDD GWENER, EBRILL 28AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am hanner awr wedi wyth y bore.*

XX. Treuliwyd y cyfarfod hwn i draethu ar Swydd Brophwydol Crist.

Ymddyddenir yn Nghyfarfod y Pregethwyr yn y Gymdeithasfa nesaf ar "Beth yw, a pha fodd y mae pregethu i'r gydwybod?" ac yn y cyfarfod am wyth o'r gloch y bore olaf, "Offeiriadaeth Crist — ei Aberth," fydd testun yr ymdriniaeth.

WILLIAM WILLIAMS,
*Ysgrifenydd.*

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fawrth, Ebrill 25ain, pregethodd y Parchn. J. Williams, Brynsiencyn, a Daniel Rowlands, M.A., Bangor.

Nos Fercher, yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Simon A. Frazer, Môn, a Dr. Llugwy Owen, Conwy; ac yn Nghapel y Bedyddwyr, y Parchn. G. Ellis, M.A., Bootle, a W. Hinton Jones, Amwythig.

Prydnawn dydd Iau, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. J. Pritchard, Birmingham, a Rees Jones, Felinheli; yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. J. Williams, Bangor, a Griffith Jones, Tregarth; ac yn nghapel y Bedyddwyr, y Parchn. T. Gray, Manchester, ac O. Jones, B.A., Liverpool.

Dydd Gwener, am 6 yn y bore, y Parchn. H. B. Williams, Gwrecsam, ac O. Hughes, Tregynon. Yn y Castell, am 10, y Parchn. Dr. Hughes a Dr. Thomas, o Liverpool; am 2, y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., Rhyl, a Hugh Jones, Liverpool; ac am 6, y Parchn. J. Pritchard, Amlwch, a Joseph Thomas.

Pregethwyd hefyd nos Iau yn amrywiol gapelau y Dosbarth.

---

MARWOLAETH Y PARCH. EMRYS EVANS.

DYDD Mercher, y 10fed o'r mis diweddaf, bu farw y Parch. Emrys Evans, Dinbych, gynt o'r Cotton Hall gerllaw y dref hono, yn 71 mlwydd oed, er galar mawr i'w holl gyfeillion, a cholled ddwys i'n Cyfundeb yn gyffredinol, ac i'r achos o fewn cylch Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd yn neillduol. Yr oedd Mr. Evans yn dyoddef oddiwrth anhwyldeb neillduol er ys amryw flynyddoedd, er ei fod yn y cyfamser yn ymroi i fyned oddiamgylch i bregethu a chyflawni gweinyddiadau eraill ynglŷn â'r achos crefyddol. Ond o herwydd fod ei lesgedd yn cryfhâu, gorfu iddo roi heibio ei lafur cyhoeddus er ys amryw fisoedd. Y Sabboth olaf yn mis Tachwedd diweddaf oedd y Sabboth olaf iddo bregethu, ac yr oedd y pryd hwnw yn dangos yn rhy amlwg arwyddion o wendid a dyoddefaint. Oddeutu tair wythnos cyn ei farwolaeth, efe a aeth i Liverpool, ac a fu yno dan orchwyliaeth feddygol. Ymddangosai ar y cyntaf yn well ar ol yr orchwyliaeth hono; ond gwaethygodd drachefn, a bu farw yn Liverpool ar y dydd a nodwyd. Yr oedd Mrs. Evans, ei anwyl wraig, wedi ei chymeryd oddiarno trwy farwolaeth er ys naw mis yn flaenorol, er ei golled a'i chwithdod mawr; a bellach wele yntau wedi ei dilyn i'r wlad "lle na bydd ymadael mwy."

Yr oedd y claddedigaeth yn cymeryd lle brydnawn Sadwrn, y 13eg, yn mynwent yr Eglwys Wen, gerllaw Dinbych. Cyn myned yno, ymgynnullwyd yn Nghapel Mawr Dinbych, lle y daeth torf lïosog, oll yn amlygu prudd-der a galar. Llywyddwyd gan un o gyfeillion hynaf yr ymadawedig, a'i gymydog, y Parch. Thomas Gee. Darllenwyd cyfran o air yr Arglwydd a gweddïwyd i ddechre gan y Parch. R. Hughes, Dyserth; a chafwyd anerchiadau priodol gan y llywydd, a chan Mr. Evans, Llandudno, a'r Parchn. W. Evans, Rhuthyn; Robert Owen, Tŷ Draw, yr Wyddgrug; J. Williams, Rhyl; a Dr. Edwards, Bala; a therfynwyd trwy weddi gan Mr. Ioan Jones, Rhuthyn. Aed yn orymdaith o'r capel at dŷ y brawd a hunodd, ac oddiyno ymlaen i'r Eglwys Wen. Yn y fynwent darllenodd y Parch. J. Ogwen Jones, B.A., ran o 1 Cor. xv., a rhoddwyd anerchiad byr gan y Parch. Rees Jones, Felinheli; a gweddïodd y Parch. B. Hughes, Llanelwy; a therfynwyd y gwasanaeth trwy ganu penill roddwyd allan gan Mr. W. Jones, Pen y

parc. Yr oedd llïaws mawr o bregethwyr a blaenoriaid, ymysg eraill, wedi dyfod ynghyd i'r angladd.

Yr oedd Mr. Evans wedi cael ei ddwyn i fyny yn grefyddol; a dewiswyd ef yn flaenor yn eglwys Abergele pryd nad oedd ond lled ieuanc mewn cymhariaeth. Cymhellid ef yn daer gan ei gyfeillion crefyddol i ddechre ar y gwaith o bregethu; ac efe a ufuddhäodd i'r cymhelliadau yn y flwyddyn 1837, dybygem, pan yr oedd yn 28 ml. oed. Yr oedd efe yn un o'r rhai cyntaf o'r efrydwyr yn Athrofa y Bala; a dywedai y Dr. Edwards ddiwrnod ei angladd "na bu yno neb a ennillodd fwy o barch. Perchid ef gan y dref yn gyffredinol; ac arferai Enoc Evans ddyweyd, mai 'un o'r rhai goreu o'r *lot* oedd Emrys Evans.'" Byddai yn pregethu yn bwyllog a sylweddol, yn rhagorol o ran mater ac iaith, gan ddangos medr arbenig i egluro a chymhwyso'r gwirionedd; ac er mai arafaidd oedd ei ddull yn gyffredin, byddai yn fynych yn cael oedfäon nerthol a dylanwadol iawn. Ordeiniwyd ef i holl waith y weinidogaeth yn y fl. 1849. Daeth yn fuan yn un o arweinwyr Cyfarfod Misol ei Sir. Yr oedd ei synwyr cryf, ei wybodaeth gyffredinol, ac amryw gymhwysderau eraill, yn ei wneyd yn fedrus i drin amrywiol achosion y Cyfundeb. Yn Nghymdeithasfa Llanrwst, Mehefin, 1874, efe oedd yn traddodi y Cynghor i'r rhai a ordeinid yno; ac efe oedd Llywydd Cymdeithasfa y Gogledd am y fl. 1878. Yn ei gystudd olaf, yr oedd yn mwynhâu cysuron yr efengyl a bregethwyd mor ffyddlawn ganddo; tystiai ei fod, er nad yn hoffi marw fel marw, yn gallu edrych y tu draw i angeu yn ddiofn.

---

MARWOLAETH Y PARCH. HUGH ROBERTS, CORRIS.

Nos Fawrth, yr 2il o'r mis diweddaf, bu farw y brawd a'r pregethwr ffyddlawn, Mr. Hugh Roberts, Corris, Gorllewin Meirionydd, yn 71 mlwydd oed. Yr oedd efe yn enedigol o Bethesda, Arfon; a symudodd yn llanc ieuanc i gymydogaeth Corris. Cafodd ei ddwyn i fyny dan weinidogaeth y Wesleyaid; gyda hwy yr ymunodd yn aelod eglwysig, a dewiswyd ef yn flaenor yn eu mysg, ac yna efe a aeth yn bregethwr cynnorthwyol gyda hwy, ac yr oedd yn dra chymeradwy yn eu plith fel y cyfryw. Paham a pha fodd y symudodd oddiwrthynt at y Methodistiaid, nis gwyddom; ond y mae llawer o flynyddoedd bellach wedi myned heibio er pan y derbyniwyd ef fel pregethwr Methodistaidd. Yr oedd yn bregethwr bywiog a gwresog; ac y mae profion fod llawer o bryd i bryd wedi eu chwanegu at yr eglwysi trwy ei bregethiad. Ymunodd â Chymdeithas Dirwest ar ei sefydliad cyntaf yn Nghorris yn y fl. 1836; ac yn ddirwestwr ffyddlawn a zelog y daliodd yn wastadol; ac yn ei nychdod diweddaf, efe a wisgai y "Ruban Glas." Bu farw "mewn tangnefedd heddychol." Claddwyd ei ran farwol yn mynwent Rehoboth, y dydd Sadwrn ar ol ei farw, pryd y gwasanaethwyd gan y Parchn. R. Roberts ac O. T. Williams, Dolgellau; W. Davies, Llanegryn; W. Jones, Trawsfynydd; R. Owen, M.A., Pennal; J. Davies, Bontddu; H. Pugh, Gwynfryn; a Robert Jones, Darowen.

---

MARWOLAETH Y PARCH. THOMAS REES, FFYNNON TAF.

Dydd Mawrth, y 9fed o Fai, bu farw "y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn," y Parch. Thomas Rees, Ffynnon Taf, Dwyrain Morganwg. Fel ei dad, y diweddar Barch. Joseph Rees, Pontrhydfendigaid, galwyd yntau, mewn cymhariaeth, yn gynnar oddiwrth ei waith at ei wobr. Yr oedd yn wanaidd ei iechyd er ys amryw fisoedd; ond meddyliwyd unwaith ei fod yn gwella; ond adafaelodd yr anhwyldeb ynddo gyda grym anorchfygol, ac angeu a'i cymerodd i ffordd yn ebrwydd. Yr oedd yr angladd y dydd Gwener canlynol, yn nghladdfa gyhoeddus Aberdâr, pryd yr oedd yn wyddfodol o hanner cant i driugain o'i frodyr yn y weinidogaeth, gyda llïaws mawr o flaenoriaid gwahanol eglwysi y Sir, ac eraill, yn gwneyd i fyny dyrfa lïosog. Yr oedd Mr. Rees yn ŵr o dduwioldeb diammheuol, yn gyfaill cywir a hoff, â'i weinidogaeth yn gymeradwy gan y saint, ac o gymhwysder i oleuo ac argyhoeddi ei wrandäwyr yn gyffredinol.

---

MAMRE, SIR BENFRO.

Cynnaliwyd Cyfarfod Misol Sir Benfro ar ddechre Mai yn nghapel Mamre. Cafwyd fod y gweinidog llafurus yno, y Parch. Daniel Jones, wedi ymdrechu yn llwyddiannus i dalu £80 o'r ddyled oedd yn aros ar y capel, ac nad oes yn awr ond £50 yn aros; a phenderfynwyd fod dwy bunt allan o drysorfa'r Cyfarfod Misol i'w rhoddi i'r cyfeillion yno tuag at dalu'r llog am flwyddyn.

---

# Hanes Crefydd yn Gyffredinol.

---

CYLCHWYLIAU Y CYMDEITHASAU CREFYDDOL YN LLUNDAIN.

*Y Bibl Gymdeithas.*

Y deunawfed a thriugain o gyfarfodydd blynyddol y gymdeithas a gynnaliwyd yn Neuadd Exeter, dydd Mercher, y 3ydd o Fai; y gadair yn cael ei llenwi gan y Llywydd hybarch, Iarll Shaftesbury. Yr oedd yr Adroddiad yn hysbysu fod y cyfraniadau uniongyrchol i gynnorthwyo y Gymdeithas y llynedd, yn £104,887, llai o £9,500 nag a dderbyniwyd y flwyddyn o'r blaen; ond nid yw y cyfryw

leibâd yn arwyddo dim ond yr absennoldeb amserol o gyfran o'r rhoddion tywysogaidd sydd mor fynych yn dyfod yn rhyfedd, ond nid bob blwyddyn yr un faint. O'r swm uchod, nid oedd y lleibâd yn y cyfraniadau arferol ond £1,300. Derbyniwyd am Fiblau a Thestamentau, £24,842; dim ond £173 yn llai nag yn y flwyddyn gynt. Yr oedd yr holl dderbyniadau yn £199,785, a'r treuliadau yn £190,738. Rhoddwyd allan o Fiblau, Testamentau, a Chyfranau o'r Ysgrythyrau, yn gartrefol a thramor, 2,033,000 o gopïau; a thaenwyd er adeg sylfaeniad y Gymdeithas 93,953,000 o gopïau. Yn ystod y flwyddyn yr oedd y Gymdeithas wedi eangu ei gweithrediadau yn India, China, Persia, a Japan. Yr oedd ganddi oruchwyliwr newydd drosti yn Ngogledd Affrica, ac un arall dros Malaysia; a gofynir am un eto i Siberia. Mae ganddi oddeutu tri chant o Fiblgludwyr yn Ewrop, a dau cant yn y parthau eraill o'r byd. Gwerthir ganddynt hwy dros chwe' chan' mil o gopïau o'r Ysgrythyrau mewn blwyddyn. Traddodwyd areithiau yn y cyfarfod gan Esgob Bath a Wells; y Parch. Mr. Swainson, a fu am flynyddoedd yn China, ac yn teithio yn Australia, America, &c.; y Parch. Robert Bruce, cenadwr o Persia; Dr. Goold, Ysgrifenydd Bibl Gymdeithas Genedlaethol Scotland; yr Esgob Harris o Eglwys Esgobyddol Wesleyaidd America; y Parch. Burman Cassin; yr Esgob Crowther (dyn du) o Affrica; Mr. J. H. Fordham, a'r Canon Clayton.

Cynnaliwyd yn chwanegol gyfarfod hwyrol yn Neuadd Exeter nos Wener, y 12fed o Fai; Mr. Samuel Morley, A.S., yn y gadair, pryd y dadleuwyd dros y Gymdeithas gan yr Esgob Crowther; y Parch. H. W. Webb-Peploe; y Parch. John Kilner, Ysgrifenydd y Gymdeithas Genadol Wesleyaidd; a Mr. George Williams. Cynnygiwyd a chefnogwyd pleidlais o ddiolchgarwch i'r cadeirydd gan Iarll Fortescue, a Mr. T. A. Denny.

*Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr.*

Y degfed a phedwar ugain o gylchwyliau blynyddol y Gymdeithas hon a gynnaliwyd ddydd Iau, Ebrill 27ain, yn Neuadd Exeter, dan lywyddiad Iarll Shaftesbury. Yr oedd holl dderbyniadau y Gymdeithas am y flwyddyn yn £52,366 16s. 7c.; ychwanegiad o £927 at dderbyniadau y flwyddyn o'r blaen. Heblaw y Cadeirydd pendefigaidd, areithiwyd yn y cyfarfod gan Mr. Alfred Henry Baynes, yr ysgrifenydd cyffredinol, yr hwn a fu yn ddiweddar dros y Gymdeithas yn India; y Parchn. Dr. Mc Ewan; R. F. Guyon o Delhi; a Dr. Landels.

*Cymdeithas Genadol y Wesleyaid.*

Cynnaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon ddydd Llun, Mai 1af, yn Neuadd Exeter, Mr. Alderman Atkinson yn y gadair. Yr oedd y derbyniadau am y flwyddyn yn cyrhaedd i £141,722 18s. 7c.; a'r treuliadau yn £146,754 1s. 1c., yn gadael dyled o £5,031 2s. 6c. Yr oedd yn areithio yno y Parchn. W. Arthur, M.A.; F. Mason o Natal, cenadwr llwyddiannus ymysg y Zuluiaid a Kaffiriaid Affrica; a George Sargent o Jamaica; Mr. T. Morgan Harvey o Ddeheudir Affrica; Mr. Edward Holden; yr Esgob Harris o America; y Parchn. Dr. Rigg; ac Alexander Macaulay. Y bore Sadwrn blaenorol, cynnaliwyd y Cyfarfod Boreufwyd —*the China Breakfast Meeting*, fel ei gelwid; Mr. Edward Holden yn llywyddu. Mynegid fod y Gymdeithas Genadol Wesleyaidd mewn dyled o wyth mil o bunnoedd; ac yr oedd y mynegiad a'r appeliad a wnaed am ymdrech i'w thalu, yn effeithio yn dda ar bawb oedd yn y cyfarfod hwnw. Mr. Alderman M'Arthur, A.S., a Maer Llundain y llynedd, a addawodd £500; a'r Cadeirydd a Mr. Sutcliffe o Bacup a addawsant yr un swm. Y Parch. James Calvert, yr hen genadwr o Figi ac Affrica, a roes y swm o ddau can' guni a hanner, neu £264 10s., o ba swm yr anrhegasid ef pan yn gadael ei faes cenadol. Symiau eraill a addäwyd gyda rhwyddineb mawr, nes yr oedd holl swm addawedig y bore hwnw ynghylch £4,100. Yn y cyfarfod cenadol bore Llun, yr oedd yr unrhyw ysbryd haelionus yn ymddangos. Mr. T. Morgan Harvey ar ddiwedd ei araeth a addawodd £500; a Mr. E. Holden yr un modd a addawodd £500 ar ran Mrs. Holden, yn chwanegol at y £500 a addawsai efe bore Sadwrn. Dilynwyd ei esiampl gan Alderman M'Arthur, yr hwn yntau a addawodd eto £500 at y £500 addawedig yn y cyfarfod boreufwyd. Yr oedd yr addewidion yn parhâu i ddylifo yn £100 a symiau llai; ond tua diwedd y cyfarfod, caed fod rhyw £200 yn ol o gwblhâu y swm gofynedig, sef £4,000. Y Parch. A. Macaulay a addawodd £45 drosto ei hun, a'r un swm dros ei wraig; a phan yr oedd yr holl ddyled o fewn £50 i gael ei thalu, un gŵr boneddig yn y dyrfa a addawodd y gweddill; ac felly rhwng y cyfarfod bore Sadwrn, a'r cyfarfod dydd Llun, yr oedd digon i dalu y ddyled o wyth mil o bunnoedd allan o law wedi cael eu haddaw. Yn sicr, nid oes a all guro y brodyr Wesleyaidd am gasglu a chyfranu.

*Cymdeithas Genadol Llundain.*

Cynnaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon yn Neuadd Exeter, dydd Iau, Mai 12fed; Hugh Mason, Ysw., A.S., yn y gadair. Yr oedd derbyniadau y Gymdeithas am y flwyddyn yn £116,012 2s. 8c., a'r taliadau yn £114,917 0s. 5c. Areithiodd y Parchn. Colmer Symes; J. Peill o Madagascar; a Samuel Hebditch; Mr. Bompas, Q.C.; Capten Tarpie, llywydd y llong genadol, *John Williams*; a Mri. Henry Wright a Josiah Veney.

Mewn cysylltiad â'r Gymdeithas hon, dyledus yw coffâu am y cyfarfod a gynnaliwyd yn nghapel y Weigh House yn Llundain, i ganu yn iach ar ymadawiad ugain o genadon i Madagascar a Chanolbarth Affrica. Yr oedd yn gyfarfod bywiog ac effeithiol; y Parchn. J. Guinness Rogers, R. Wardlaw Thomson, ac A. M'Millan, heblaw y cenadon, yn llefaru ynddo. Yr oedd dau o'r nifer yn myned fel *captain* a *mate* agerlong genad-

ol, yr hon yr hyderid a gludai Gristionogaeth a gwareiddiad i'r lliaws o dywyll-leoedd ar gyffiniau Llyn Tanganyika.

*Cymdeithas Genadol Eglwys Loegr.*

Cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon, yr hon a ddygir ymlaen gan y dosbarth efengylaidd o'r Eglwys Sefydledig, a gynnaliwyd ddydd Mawrth, yr 2il o Fai, yn Neuadd Exeter; y Llywydd, Iarll Chichester, yn y gadair. Yr oedd holl dderbyniadau y Gymdeithas wedi dyfod i'r swm mawreddus o £212,910 11s. 9c., a threuliadau y flwyddyn yn 193,515 12s. 11c. Yr oedd y cyfeisteddfod wedi derbyn yn ddiweddar bedwar ar bymtheg o ymgeiswyr cenadol, y rhai oeddynt oll yn barod i fyned allan i'w meusydd llafur. Yr oedd tri ar ddeg o'r cyfryw wedi derbyn graddau yn y prifysgolion. Cyfarchwyd y cyfarfod gan Syr Bartle Frere; Esgob Victoria (China); y Parch. W. Bruce, M.A., Persia; Syr William Muir; yr Esgob Crowther o Affrica; a'r Parch. R. C. Billing.

*Cymdeithas y Traethodau Crefyddol.*

Y drydedd gylchwyl a phedwar ugain o'r Gymdeithas hon a gynnaliwyd yn Neuadd Exeter, nos Fercher, y 5ed o Fai; Syr James Risdon Bennett, M.D., yn y gadair. Yn ystod y flwyddyn yr oedd y Gymdeithas wedi rhoi allan 664 o gyhoeddiadau newyddion, o ba rai yr oedd 175 yn draethodau. Yr oedd yr holl lyfrau, traethodau, cylchgyhoeddiadau, &c., am y flwyddyn yn gwneyd y cyfrif mawr o 73,162,620, a 27,832,260 o'r cyfryw yn draethodau, tra yr oedd y swm o 14,000,000 wedi eu hanfon allan mewn gwledydd tramor, yn gwneyd cyfanswn o 87,162,620. Yr oedd yr holl dderbyniadau, oddiwrth werthiadau ac oddiwrth roddion i'r Gymdeithas, yn £198,934 0s. 8c., a'r treuliadau yn £196,426 12s. 9c. Rhad-roddwyd gwerth £26,478 15s. 10c. o draethodau a llyfrau, i amrywiol gymdeithasau crefyddol, ac i ymfudwyr oedd yn myned allan o'r prif borthladdoedd. Rhoddwyd llyfrau hefyd i lyfrgelloedd Ysgolion Sabbothol a chynnulleidfaoedd, i dai dirwestol, efrydwyr, &c. Mae cyfres newydd o draethodau, a elwir *Present Day Tracts*, yn cael eu cyhoeddi, i gyfarfod â'r ffurfiau diweddaf o anffyddiaeth, ac i gynnorthwyo cristionogion i roddi rheswm am y gobaith sydd ganddynt. Cafwyd areithiau rhagorol yn y cyfarfod gan y Cadeirydd; y Parch. Canon Tristram; y Parch. Dr. Osborn, Llywydd y Gynnadledd Wesleyaidd; y Parch. Charles Marson, ficer Clevedon; y Parch. Dr. Verner White, y gweinidog Presbyteraidd; a'r Parch. John Sharp, un o Ysgrifenyddion y Bibl Gymdeithas.

---

BYRFYNEGIADAU CREFYDDOL.

Mae gan y deng miliwn a deugain [un miliwn yn fil o filoedd, cofier] o bobl yn Nhaleithiau Cyfunol yr America weinidog Protestanaidd ar gyfer pob nifer o 728 o bersonau, ac athraw Ysgol Sabbothol ar gyfer pob 56. Mae un o bob pump yn aelod o eglwys efengylaidd.

Y mae adfywiad crefyddol grymus yn myned ymlaen yn Nhaleithiau Deheuol America, yn enwedig yn Virginia, Gogledd Carolina, a Tennessee. Dywedir ei fod yn gyfryw ag na welwyd ei gyffelyb er ys llawer o flynyddoedd.

Yn y Gymanfa Eglwysig a gynnaliwyd yn Abertawe, cynnygiwyd cyhoeddi newyddiadur Eglwysyddol yn Gymraeg. Yr oedd perchenogion y newyddiadur dyddiol Toryaidd yn Nghymru (Seisonig) yn foddlawn i gyhoeddi y papyr newydd newyddaf hwn os sicrheid y swm cymedrol o bum' cant o bunnoedd; ond ffrwyth yr holl appeliadau a wnaed at bendefigion a boneddigion Eglwys Loegr, ac urddasolion parchedig yr Eglwys, yn y Dywysogaeth, oedd addewidion yn cyrhaedd i ddeg punt a thriugain; ac felly mae'r cynnygiad am newyddiadur Cymraeg eto i bleidio yr Eglwys wedi syrthio i'r llawr.

Y mae'r Parch. Jacob Chamberlain, gweinidog Presbyteraidd, wedi ysgrifenu o Madanapalle, India, i hysbysu fod pentrefi cyfain yn dyfod drosodd oddiwrth Baganiaeth at Gristionogaeth; ac ychwanega, "Y mae ysgydwad nerthol yn myned ymlaen drwy holl India yn bresennol; ac yr wyf yn ofni fod Hindwaeth yn myned i syrthio ac ymddryllio cyn y bydd eglwys Crist yn barod i afaelyd yn narnau yr adfeilion, ac adeiladu teml yr Arglwydd."

Yr oedd Mr. Spurgeon yn Nghynnadledd y *Pastors' College* sydd dan ei ofal ef, yn ymddangos gyda ruban glas ar ei gôb; ac yr oedd yr arwydd dirwestol yn cael ei ddwyn gan amryw weinidogion eraill.

Yn Nghyfarfod blynyddol y *Band of Hope* yn Bristol yn ddiweddar, yr oedd Maer Abertawe (y Parch. Thomas Davies, un o weinidogion ordeiniedig ein Cyfundeb) yn adrodd nad oedd, allan o'r deng mil ar hugain oedd wedi cymeryd yr ardystiad dirwestol yno, mewn cysylltiad â Chymdeithas y Ruban Glas, ddim un o bob cant wedi syrthio ymaith, a bod agos yr holl fragdai lleol wedi eu cau.

Dewisir bob blwyddyn yn nghyfarfodydd blynyddol Undeb Cynnulleidfaol Lloegr a Chymru y Cadeirydd am y flwyddyn ganlynol, megys y gwneir yn Nghymanfa Gyffredinol y Methodistiaid yn Nghymru. Cynnygiwyd y Parch. Dr. Parker y llynedd yn gadeirydd am eleni; ond y Parch. Dr. Macfadyen o Manchester a ddewiswyd. Tybid gan lawer y buasai Dr. Parker yn sicr o gael ei ddewis eleni erbyn y flwyddyn nesaf; eithr bu ei enw yn aflwyddiannus y tro hwn eto. Ar ddiwedd yr etholiad, trwy y tugel, yr oedd y pleidleisiau i'r Parch. Dr. Fairbairn yn 489, ac i Dr. Parker yn 439; mwyafrif o 50 gan y cyntaf. Nid oes dim ammheuaeth am alluogrwydd Dr. Parker; ond fe dybygid nad yw efe yn foddlawn ar fod yn Annibynwr o ran trefn eglwysig, ond fod gormod o ryw annibyniaeth personol yn perthyn iddo, fel nad yw yn ŵr mor garuaidd ag y dymunid gan ei holl frodyr.

Dr. Steane, gweinidog parchus a defnyddiol gyda'r Bedyddwyr, ac un o sylfaenwyr a phrif gefnogwyr y Cynghrair Efengylaidd, a fu farw yn ddiweddar yn 85 mlwydd oed. Yr oedd efe er ys rhai blynyddoedd yn analluog i lafurio yn gyhoeddus gan waeleddau henaint.

Y mae Mr. J. N. Darby, un o'r rhai cyntaf, os nad y cyntaf oll, o gyfundeb anundebol y *Plymouth Brethren*, wedi marw yn 82 mlwydd oed. Efe a ddechreuodd ei fywyd cyhoeddus fel gweinidog perthynol i'r Eglwys Sefydledig yn yr Iwerddon, pryd y cyfrifid ef yn un o'r cristionogion mwyaf rhyddfrydig; ond efe a ymadawodd i sefydlu math o eglwysyddiaeth o'r ansawdd gyfyngaf a mwyaf angharіadol. Byddai yn trin ei wrthwynebwyr yn ei ysgrifeniadau dadleuol mewn ysbryd o anffaeledigrwydd a chwerwedd mawr; a chafodd lawer o'r rhai oedd ar y dechre yn cydweithredu â'g ef yn ymwahanu oddiwrtho, a Phlymouthyddiaeth yn myned yn fân-ddarnau.

# Amrywiaethau.

DADGYSYLLTIAD.

Mae yr Eglwys Wyddelig wedi ei dadsefydlu er ys blynyddoedd bellach. Mae yr Eglwys Sefydledig yn Scotland, hithau, wedi ei dedfrydu. Gwelir gwladweinyddwyr eisoes yn anfon i fyny *pilot balloons* tuag at ddeall nerth y gwynt. Adroddir fod un o filwyr yr hen Gyfammodwyr yn gweddïo, "O Arglwydd, caniata i ni fod ar yr iawn, oblegid ti a wyddost ein bod yn bur benderfynol." Ein gweddi ni dros y rhai sydd ar y blaen yn yr ymdrech yn Scotland, ydyw, "Yr ydym yn credu eu bod ar yr iawn; O Arglwydd, gwna hwy yn benderfynol." Mae amser Eglwys Loegr yn dyfod yn brysur. Dyna yw argyhoeddiad ei phleidwyr a'i gwrthwynebwyr. A phan ddelo yr amser, ni feiddia gwladweinwyr ein siomi megys y darfu iddynt siomi ein tadau yn nhymorau y Diwygiad Protestanaidd, y Chwyldrōad, a phan yr esgynodd Teulu Hanover i'r orseddfainc. Nid ydym yn awr yn brwydro am ymwared oddiwrth anfanteision gwladol yn bersonol, ond dros egwyddorion cyntaf teyrnas Crist. Pan fydd y fettel yn boeth ar yr eingnion, yna ni a darawn.—*Dr. Macfadyen, Cadeirydd Undeb Cynnulleidfäol Lloegr a Chymru.*

AMGYLCHIADAU.

Sylw ffraeth a chywir gan Horace Smith ydyw, "Pe byddai llythyr yn cael ei gyfeirio at y gair dylanwadol iawn hwnw, *amgylchiadau*, ac yn dy benu fel hyn, 'Ydwyf, syr, eich ufuddaf ostyngedig was,' gallai y nifer mwyaf o bobl roddi heuwau wrtho heb wyro dim oddiwrth y gwirionedd manylaf."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## LLYDAW.

## TAITH MR. W. JENKYN JONES A GROIGNEC.

### I.

Yn ol fy mwriad cychwynais o Quimper boreu Llun, y 27ain o Fawrth, ac yn ngorsaf Quimperlé cyfarfyddais â Mr. Groignec, yr hwn oedd yno yn fy nysgwyl. Saif Quimperlé rhwng Quimper a Lorient, ychydig dros ugain milldir oddiyma, ar lân yr afon Ellé, oddiwrth ba un y derbynia yr enw "Quimper-ellé."

Wedi dyfod deallasom fod ffair bwysig yn cael ei chynnal yma, ac y mae y dref yn llawn o bobl o'r wlad oddiamgylch. Gwelir yma heddyw lawer iawn o wahanol fathau o wisgoedd, gwahanol hefyd i'r hyn a welir o amgylch Quimper. Y mae llawer iawn o'r gwŷr yn gwisgo dillad o frethyn du, gyda *jacket* fer, ac y maent yn hynod hoff o fotymau, o ba rai y mae ambell un yn cario rhai ugeiniau o'i gwmpas.

Ymwelsom â'r eglwys yma; yr oedd yno amryw yn cyfrif eu *beads*, ond yr oedd ganddynt ddigon o amser i edrych oddeutu; a dangosai un o honynt i ni y gwahanol ddelwau oedd yno, gan feddwl ein bod yn ewyllysio gweddïo ar un o honynt. Gyda llaw, y mae y delwau wedi eu gorchuddio i ddangos fod adeg y croeshoeliad yn agoshâu, ond Sul y Pasg bydd y gorchudd yn cael ei dynu ymaith i ddangos fod yr Iesu wedi adgyfodi. Ar yr adeg bresennol, hefyd, y mae blwch yn yr Eglwys i dderbyn cyfraniadau y rhai sydd yn peidio cydymffurfio â gorchymyn yr Esgob gyda golwg ar ymprydio yn ystod y tymmor. Gellir cael rhyddhâd oddiwrth bob dyledswydd, dwyfol neu dybiedig, ond talu digon o arian i'r offeiriaid am hyny; ac y mae yn ddigon posibl fod yn well ganddynt yr arian nag ufudd-dod i'w gorchymynion. Y mae yma hefyd amryw o gyffesgelloedd fel yn yr oll o'r Eglwysydd, sydd yn dal y bobl mewn caethiwed mwy ofnadwy nag un carchar, boed ei furiau mor uchel ag y byddont; yn wir, Bastille yr Eglwys Babaidd yw y gyffesgell.

Ymwelsom hefyd âg Eglwys arall sydd yn y dref, yn yr hon y mae rhai darluniau wedi cael eu rhoddi gan yr Ymherawdwr. Y mae yno gell o dan yr allor, yn yr hon y mae delw St. Thurleu, ac y mae llawer o bryd i bryd yn myned yno i gael gwellhâd o wahanol glefydau, megys cur pen, neu *rheumatism:* cylymant un neu ddau o'u gwallt â'r gadwen sydd yno, ac yna tynant eu hunain yn rhydd, a bydd pob afiechyd wedi dianc.

Yn ystod y dydd rhanodd Mr. Groignec rai ugeiniau o *tracts*, a derbyniwyd yr oll yn serchog iawn. Daeth un atom eilwaith i ymofyn un, gan ei fod wedi rhoddi y cyntaf i gyfaill iddo, yr hwn a ddymunai ein gweled pan fyddem yn ymweled â'r gymydogaeth lle yr oedd yn byw, yr hyn hefyd a wnaethom. Yn yr hwyr aethom i ymweled âg un o'r enw Mr. Robert, Protestant, sydd yn byw yma, yr hwn a ddychwelwyd drwy offerynoliaeth Mr. Planta yn Lorient ugain mlynedd yn ol, a chawsom ymgom âg ef am gryn amser, ac addawsom fyned drachefn i ymweled âg ef.

Cychwynasom o Quimperlé ychydig cyn saith foreu dydd Mawrth, a chyfeiriasom ein camrau tua Clohar, oddeutu wyth neu naw milldir oddiyno. Er mor foreu ydoedd, cyfarfyddem â phlant yn myned i'r ysgol; oblegid y mae yr ysgolion yma yn agor am wyth o'r gloch. Galwasom mewn amryw dai ar ein ffordd, a rhanasom nifer o *tracts;* cyfarfyddasom âg un oedd yn wael ei iechyd, yr hwn a feddiannai gopi o'r Bibl er ys blynyddau, a dywedai ei fod yn cael pleser wrth ei ddarllen.

Yna yr oeddym yn teithio trwy goedwig am oddeutu pedair milldir. Ymddengys fod yma fleiddiaid a moch gwylltion i'w gweled weithiau ynddi, ond y mae ganddynt ddigon o le i ymguddio. Y mae y ffordd drwy ganol y goedwig yn cael ei chadw yn ofalus, ond y mae yn unig iawn, heb dŷ i'w weled am filldiroedd. Yn union wrth fyned allan o honi, yr oedd tafarndŷ; aethom i mewn yno, ac ar unwaith gwelsom fod ynddynt barodrwydd i brynu: prynasant gopi o'r Testament Newydd yn Llydawaeg, a hyny gan wybod yn hollol fod yr offeiriaid Pabaidd yn gwahardd ei ddarllen, fel nad oes perygl iddo gael ei losgi. Aethom i mewn i'r tŷ nesaf drachefn, a llwyddasom yr un modd. Mewn amryw dai gresynent am nad oeddynt yn allnog i wneyd yr un defnydd o lyfrau, gan nas gallent ddarllen; darllenai Mr. Groignec ychydig iddynt yn y rhan fwyaf o'r tai, a gwrandawent yn astud ar y geiriau, a chredwn nas gall yr offeiriaid eu perswadio mor hawdd fod drwg yn y llyfrau, wedi iddynt unwaith wrando ar yr hyn sydd ynddynt, oblegid y Bibl ei hun sydd yn gallu amddiffyn ei hunan oreu.

O'r diwedd cyrhaeddasom bentref Clohar-Carnoet, ac ymwelsom â phob tŷ oedd yno, heb eithrio eiddo yr offeiriad. Mewn un tŷ yr oedd dynes ieuanc yn gwnïo. Ar y cyntaf ni fynai siarad â ni—yr oedd arni ofn; yna darllenodd Mr. Groignec y rhan gyntaf o'r Bregeth ar y Mynydd tra yr oedd hi yn gwnïo; arosai, dechreuai wnïo drachefn, a thrachefn arosai, gan wrando yn astud; ac o'r diwedd prynodd gopi o'r Testament Newydd yn Llydawaeg, gan ddyweyd y byddai yn rhaid iddi ei ddangos dranoeth i'r offeiriad, ac fe allai y byddai yn rhaid iddi ei losgi. Yna dywedodd Mr. Groignec wrthi am beri i'r offeiriad ddangos iddi yr hyn oedd yn ddrwg yn y llyfr cyn iddi ei gredu. Nis gwyddom beth fu tynged y copi hwn a werthasom. Os ei losgi a gafodd, gobeithiwn y bydd bywyd yn y llwch. Aethom i dŷ arall yn ymyl, lle y llwyddasom i werthu dau gopi o'r Testament Newydd. Yna aethom i dŷ lle yr oedd amryw gyda'u gilydd, a gwerthwyd copi cyflawn o'r Bibl mewn llythyren fras, gyda pherffaith ymwybyddiaeth o'r hyn oeddynt yn ei wneyd, ac o syniadau gelyniaethus yr offeiriaid mewn cysylltiad âg ef. Yr oedd yno un wraig oedranus yn canmawl y llyfr, ac yn dyweyd ei bod yn credu mai yn hwnw yr oedd y gwirionedd, ac nad oedd ganddynt hwy ond y darnau a fynai yr offeiriaid. Yr oeddynt yn synu at bris isel y llyfrau, a dywedent fod yn rhaid fod y rhai a'u gwnaethent yn golledwyr. Yna cawsant ar ddeall mai y Fibl Gymdeithas oedd yn eu danfon, a'i bod yn cael ei chynnal drwy roddion gwirfoddol o bob rhan o Loegr. Rhanasom nifer lliosog o *dracts* yno drachefn. Yr oedd yno rai oedd yn analluog i ddarllen eu hunain, ond a ddymunent gael rhai i'w plant i ddarllen iddynt yn yr hwyr. Yna ymwelsom â thŷ arall, a gwerthasom ddau gopi o'r Testament Newydd. Dychwelasom heibio tŷ yr offeiriad, a chynnygiodd Mr. Groignec iddo gopi o'r Ysgrythyrau yn y Ffrancaeg: atebai yn ddigon parchus fod ganddo gopi yn Ffrancaeg a Lladin, ac nad oedd angen un arall arno.

Lle bynag yr aem yr oedd yno groesaw ar wynebau y bobl. Dywed Mr. Groignec na welodd gymaint o groesaw erioed mewn rhanau gwledig. Yr oedd yno un dyn oedd yn adnabyddus drwy y plwyf, o'r enw ——— ———, yr hwn a ddymunai ein gweled. Aethom i'w dŷ, ac arosasom yno am dipyn o amser, gan nad oedd efe wedi dyfod adref o'i orchwylion ar y fferm; a phan y daeth i mewn, ymddangosai yn hynod dda ganddo ein gweled, a rhoddai groesaw calon i ni. Dywedai wrthym fod ganddo gopi o'r Bibl er ys ugain mlynedd, yr hwn a brynasai yn Quimperlé gan Fiblgludydd o Morlaix, yr hwn a gafodd ei *insultio* yno yn y farchnad y dydd hwnw, ac â'r hwn y cydymdeimlai oblegid y gamdriniaeth a gafodd. Yr oedd wedi rhoddi benthyg y Bibl i un a'r llall o'i gyfeillion, ac felly yr oedd llawer wedi cael cyfle i'w ddarllen. O'r diwedd cawsom un esboniad ar y ffaith fod y bobl mor groesawgar wrthym. Mewn tŷ yn ymyl yno gwerthasom gopi o'r Testament Newydd, a siaradai y bobl yn erbyn ystryw ac ariangarwch yr offeiriaid; ac yr oedd yn amlwg fod syniadau y naill yn dechreu lefeinio y llall. Yr oedd Mrs. ——— yn glaf, wedi bod felly am flynyddoedd. Yr oedd perthynas iddo ef wedi ceisio ei berswadio i fyned gyda hi tua Lourdes, lle y dywedir fod gwyrthiau wedi cael eu cyflawni yn ddiweddar, i'r hyn yr atebai nad oedd efe yn gyfaill mawr i *Notre Dame de Lourdes*, ac nas gallasai ddysgwyl llawer o gymwynasau ganddi; ond os gwnai ei berthynas fyned yno, y rhoddai iddo £120 os cai wellâd. Ond o'r ochr arall, os na byddai iddo lwyddo, na wnai dalu dim iddo am ei draul na'i drafferth. Ond nid oedd ffydd y gŵr yn ddigon mawr i fyned i waelod ei logell, ac felly methodd ymgymeryd â'r daith.

Yn ystod y dydd gwerthwyd un Bibl cyflawn, pedwar copi o'r Testament Newydd yn Llydawaeg, a naw yn Ffrancaeg, yn gwneyd cyfanswm o bedwar ar ddeg, heblaw amryw gopïau o'r Almanac, &c., a rhanasom ugeiniau lawer o *tracts*. Dywed Mr. Groignec na werthodd erioed gynifer

o'r blaen yn nghanol y wlad, a dim ond unwaith er pan y mae wedi dechreu, hyny yw yn Morlaix, lle y llwyddodd i werthu yr un nifer. Y mae Mr. Groignec wedi bod yma ddwywaith o'r blaen, ac y mae llawer yn gyfarwydd â'r Llythyrau y cyfeiriwyd atynt lawer gwaith eisoes. Yr oeddem wedi bwriadu myned yn ein blaenau tua Pouldu (Pwll-du); ond gan ei fod wedi gwerthu ymhell uwchlaw ei ddysgwyliad, gorfuwyd ni i ddychwelyd tua chyfeiriad Quimperlé, lle yr oedd ganddo gyflawnder o lyfrau.

Yr oedd ein calonau yn llawn o ddiolchgarwch i'r Arglwydd am ei gymhorth a'i galondid i ni y diwrnod cyntaf y buom allan gyda'n gilydd. Boed iddo eto beri fod y gair yn llwyddo ac yn dwyn ffrwyth. Boreu dydd Mercher cychwynasom tua Moelan, ar ein ffordd yn ol i Quimperlé. Y mae y bobl yn y rhan yma ymhell ar ol ymhob ystyr: y mae llawer iawn o'r ddaear yma yn cael ei gadael heb ei hamaethu, er fod y tir sydd o dan driniaeth yn gynnyrchiol iawn. Y mae llawer o goelgrefydd yma hefyd. Y mae yn agos i'r pentref gareg sydd yn cael ei galw ar enw St. Philibere; a chreda rhai fod ynddi allu meddyginiaethol. Yn wir, gofynai un wraig i ni, pan yn holi pa le yr ydoedd y gareg, a oedd rhai o'n perthynasau yn glaf ac mewn angen am iachâd. Wedi agosâu at y pentref, aethom i mewn i amryw dai, ond nid oedd neb yno a fedrent ddarllen. Gwrandawent yn astud er hyny ar Mr. Groignec yn darllen rhanau o'r Ysgrythyr, ac ymddangosent fel yn teimlo dyddordeb yn yr hyn a ddarllenid. Yna aethom i mewn i dŷ lle yr oedd amryw o wragedd; ac yr oedd yno un ddynes oedd yn meddu ar ddawn ymadrodd mwy rhydd na'r lleill. Ar y cyntaf ymddangosai yn siriol, er ei bod yn gwneyd sylwadau croes i'r hyn a ddywedai Mr. Groignec. Derbyniodd *tract*—ar y teleran na wnai ei losgi cyn ei ddarllen; ond ymhen ychydig lapiai ef i fyny yn barod i'r tân, pan y dywedodd Mr. Groignec wrthi ei bod wedi addaw ar ei chydwybod na wnai ei losgi felly; ac yna taflodd ef yn ol. Yna darllenodd Mr. Groignec ddarn o'r Ysgrythyr i brofi nad oedd dim drwg yn y llyfrau oedd genym; ond gwnaeth hyn iddi ymgynddeiriogi yn fwy; ac er nad oeddwn i yn deall ond ychydig o'r ymddyddan, gan mai yn Llydawaeg yr ydoedd yn cael ei gario ymlaen, deallais yn bur dda beth oedd ei bwriad pan welais hi yn cydio gafael mewn coes *brush* oedd yn ymyl, ac yn ein gorchymyn allan o'r tŷ. Dilynodd ni am ychydig o ffordd, pan drodd Mr. Groignec yn ol ac y dywedodd ychydig eiriau a barodd iddi gywilyddio o'i hymddygiad a dychwelyd i'w thŷ. Ymwelsom wedi hyny â phob tŷ yn y pentref, rhanasom lawer o *tracts*, a derbyniwyd hwynt oll yn ddiolchgar, er fod rhai yn ymddangos yn ofnus wrth wneyd hyny. Gwerthwyd hefyd ychydig gopïau o'r Almanac; ond methasom werthu yr un Bibl. Gwelsom un o'r mynachod yno; ac ymddangosai fel pe byddai awydd arno brynu, ond ni ewyllysiai wneyd hyny yn ngwydd y plant. Ar ol ciniaw gofynodd Mr. Groignec pwy ydoedd y wraig hono; a dywedodd yr hanes wrth y rhai oedd yno, at yr hyn yr oeddynt oll yn synu. Ymwelsom â'r offeiriad, yr hwn a ymddangosai yn ddigon siriol yn ein gwyneb. Dywedodd Mr. Groignec wrtho hanes y wraig; ond yr oedd ef yn teimlo ei hun mewn cyfwng—nas gallasai wybod beth i'w wneyd; ni fynai ddyweyd dim i gondemnio ei hymddygiad, ac nis gallasai feiddio ei hamddiffyn. Dywedodd Mr. Groignec mai dyma y tro cyntaf iddo gyfarfod âg un o'r fath, er ei fod yn teithio er ys pedair blynedd ar ddeg, a'i fod ar y pryd braidd yn meddwl mai yn nghanolbarth Affrica yr ydoedd. Yr oeddem yn ddigon digalon ac yn ymyl llesgâu; fel y dysgyblion gynt, wedi bod yn ymboeni drwy y nos, ac heb ddal dim. Ddoe yr oedd y cwbl yn ffafriol i ni; ond heddyw, fel y dywed fy nghyfaill, yma yr ydym yn cael eto yr ochr dywyllaf, tuag at i ni gael gwybod y ddwy ochr. Ac eto, rhanasom nifer mawr o *tracts;* ac nis gwyddom ni nad oes hanes dysglaer i rai o'r rhai hyny. Yr oeddem wedi ein bwrw i lawr, ond heb ein llwyr adael; oblegid troisom allan o'r ffordd ychydig, ac yn y ddau dŷ agosaf i'w gilydd gwerthasom ddau gopi o'r Testament Newydd, yr hyn a roddodd gyfle i ni anadlu drachefn. Ar ein ffordd hefyd, mewn un tŷ, cawsom fod yno gopi o'r Testament Newydd er ys pedair blynedd, wedi ei brynu gan Mr. Groignec, pan fu yn tramwy drwy y wlad bedair blynedd yn ol; ac y mae yn bosibl y gall ein hymweliad ni fod yn symbyliad iddynt ei ddarllen yn fwy manwl a chyson. Erbyn yr hwyr dychwelasom i Quimperlé, wedi gwneyd ein goreu, er na fuom mor llwyddiannus â'r diwrnod o'r blaen.

Y mae fy llythyr eisoes yn faith, ac felly y mae yn well i mi aros heb fyned ymhellach heno, gan ein bod wedi cymeryd taith ar ol hyny i Banalec, i gyfeiriad gwahanol, yr hyn fydd testun fy llythyr nesaf.

## II.

CYCHWYNASOM drachefn ddydd Iau gyda'r *train* i Banalec, oddeutu deng milldir o Quimperlé. Ystyr yr enw ydyw *Banal-le*, y lle y mae *banal (broom)* yn tyfu; ac yr

oedd llawer o hono i'w weled yma a thraw drwy y wlad. Ar ol edrych ychydig o'n hamgylch ar yr orsaf, yr hon sydd fel y gorsafoedd yn gyffredin yma yn brydferth yr olwg arni, gan fod coedydd wedi eu plannu o'i chwmpas, aethom i mewn i dŷ yn ymyl, lle y dangosodd Mr. Groignec ei lyfrau, ac ymddangosai y bobl yn hynod o siriol, a phrynasant Almanac a chopïau o'r Llythyrau at Berson Plœmeur, am ba rai yr oeddynt wedi clywed yn flaenorol; mewn tŷ arall yn ymyl hefyd, gwerthwyd copi o'r Testament Newydd yn Llydawaeg. Yna cyfarfuasom â meistr yr orsaf, yr hwn sydd yn meddu copi o'r Bibl yn gyflawn er ys cryn amser, a phrynodd yntau rai llyfrau eraill. Ar y ffordd i'r pentref, yr hwn sydd oddeutu hanner milldir o'r orsaf, aethom i mewn i dŷ, lle yr oedd Mr. Groignec wedi cyfarfod y tro o'r blaen âg un dyn claf, yr hwn oedd yn casâu arferion y Babaeth. Wedi holi am dano, cawsom ei fod wedi marw, ond yr oedd ei ferch eto yn byw yno. Siaradai am ei thad fel dyn gonest a da, er ei fod yn wrthwynebol iawn i'r offeiriaid. Dywedai ei bod hi yn cadw at arferion Pabaidd oblegid ei bod wedi ei dwyn i fyny ynddynt, ond nad oedd yn ystyried fod dim rhinwedd ynddynt. Yr oedd ei theulu yn bwyta cig ddydd Gwener, ac yr oedd yn methu deall os oedd pwys yn hyny pa fodd yr oedd yr offeiriaid yn gallu eu rhyddhâu gyda'r fath rwyddineb. Nid oedd y wraig hon ond esiampl o amryw yr ydym wedi cyfarfod â hwy, ac yr oedd hi fel llawer yn methu deall paham y mae yr offeiriaid yn gwahardd darllen gair Duw, tra yn dal mor dŷn wrth y traddodiadau.

Ar ol ciniaw cychwynasom drachefn er mwyn gweled amaethwr cyfrifol sydd yn byw oddeutu milldir o'r pentref. Yr oedd Mr. Groignec wedi cyfarfod âg ef flynyddoedd yn ol, ac y mae ganddo syniad uchel am dano. Yr oedd yn Paris yn ystod y gwarchae yn 1870; a thra yr oedd yno, bu yn ymweled âg eglwys Brotestanaidd amryw weithiau, a daeth i adnabod gweinidog yr eglwys, yr hwn a dalai ymweliad â'r milwyr y rhai oedd yn yr *hospital*, ac a adawodd nifer o lyfrau iddynt i'w darllen. Mawr oedd awydd y milwyr, meddai, am gael gweled y llyfrau, ac y maent wedi gadael argraff byth er hyny ar ei feddwl, ac y mae ganddo syniadau uchel am y Protestaniaid. Y mae ganddo chwech o blant, a gallwn obeithio y byddant oll yn etifeddu syniadau eu tad i raddau mwy neu lai, gan ei fod yn ddyn sydd yn meddu synwyr naturiol cryf. Nid oedd efe ei hun yn y tŷ, ond cawsom dderbyniad caredig gan ei wraig. Yna ymwelsom â thŷ yn ymyl, lle y gwerthasom gopi o'r Testament Newydd ac Almanac. Mewn ffermdŷ yn ymyl drachefn, cyfarfuasom â gwraig, yr hon a siaradai yn erbyn y llyfrau fel eiddo y Protestaniaid. Yna gofynodd Mr. Groignec iddi a ydoedd yn gwybod paham yr oedd yr offeiriaid yn siarad felly am danynt; nad oedd y llyfrau yn perthyn i'r Protestaniaid na'r Pabyddion, ond eu bod yn cynnwys gair Duw, yr hwn a roddai derfyn ar bob cwestiwn yn yr eglwys foreuol; ond yn gymaint a bod dynion wedi ychwanegu llawer o arferion croes i'r Dadguddiad Dwyfol, eu bod yn condemnio y gwirionedd oblegid ei fod yn dadguddio twyll yr hyn a ddysgent hwy yn lle gwirionedd. Yna cyfaddefai ei bod yn methu deall paham yr oedd cymaint o bethau newyddion yn cael eu hychwanegu yn barhâus at gredo yr eglwys, ac yn neillduol condemniai ariangarwch yr offeiriaid, y rhai a hawlient dâl am bob peth oeddynt yn ei wneuthur, er eu bod yn cael eu talu yn barod gan y llywodraeth. Cwestiwn yr arian yw yr hwn sydd hyd yma yn gwneyd mwyaf o argraff ar y bobl, a gellir bod yn sicr braidd y bydd pawb yma yn dyweyd "Amen" pan y byddys yn condemnio trachwant yr offeiriaid. Credwn fod chwilfrydedd y wraig yma wedi cael ei ddeffro, a chan ei bod yn ymddangos yn meddu ar gryn dipyn o feddwl, gobeithiwn y dilyna esiampl y bobl yn Berea. Yn y diwedd prynodd Almanac, yr hwn sydd yn cynnwys darnau o'r Ysgrythyr, a derbyniodd ddau neu dri o *dracts* yn ddiolchgar. Sylwasom fod y bobl sydd yn byw yn ymyl yr amaethwr y soniasom am dano uchod, yn fwy addfed yn eu syniadau am Brotestaniaeth; y mae ei ddylanwad yn cael ei deimlo, a gobeithiwn y cawn heb fod yn hir gnewyllyn yn y lle, trwy ba un y gallwn ddylanwadu ar y wlad o amgylch yma. Ar y ffordd yn ol i'r pentref cyfarfyddasom âg un arall o'i gyfeillion, yr hwn a brynodd gopi o'r Testament Newydd, ac a'n gorfododd ni i addaw myned i'w weled cyn ymadael, yr hyn hefyd a wnaethom.

Dydd Gwener, yr 31ain o Fawrth, dechreuasom ar waith y dydd drwy gynnyg copi o'r Ysgrythyr i'r offeiriad, yr hwn a'n hatebodd yn garedig fod ganddo gopi yn Ffrancaeg a Lladin, ac nad oedd eisieu un arall arno. Ymwelodd Mr. Groignec hefyd â'r hen offeiriad sydd yma, yr hwn sydd yn fwy rhyddfrydig na'r rhan fwyaf o'i frodyr. Yna ymwelsom â thafarndŷ, lle yr oedd amryw yn bresennol, ac ar unwaith cawsom ar ddeall eu bod yn gwybod pwy oeddem, ac yn ddigon parod i'n croesawu. Yr oedd yno un dyn, gôf wrth ei alwedigaeth, yr hwn sydd yn gyfaill i'r amaethwr y cyfeiriasom ato, yr hwn a brynodd genym gopi o'r Testament Newydd, ac a addawodd ei ddarllen yn

ofalus. Yr oedd ei dad hefyd yn bresennol yno, yr hwn sydd yn Werinwr poeth. Yn 1848 yr oedd amryw o honynt wedi ymgasglu ynghyd i blanu Coeden Rhyddid, ac ni fynai yr offeiriad ei bendithio; ond aeth ef a dau neu dri eraill yno i'w dŷ, a gorfodwyd ef i wneyd hyny er ei waethaf, pe buasai ei fendith yn werth rhywbeth. Yr oedd hyd yn nôd y gwragedd yno yn gallu taflu gair i fewn i'r ymddyddan yn erbyn yr offeiriaid. Cyfarfuasom hefyd â'r dyn sydd yn gofalu am yr eglwys, a chawsom ar ddeall fod ganddo gopi o'r Testament Newydd er ys blynyddoedd. Daethom i gyfarfyddiad âg isathraw yr ysgol yno, yr hwn a brynodd genym y Llythyrau at Berson Plœmeur. Dywedai ei fod ef a chyfaill iddo wedi bod yn mynychu yr addoliad Protestanaidd yn Brest; yr oedd ei gyfaill, fel y dywedai, wedi ymuno â'r eglwys yno, ac yr oedd yn awr yn aros yn Quimperlé, ond ni chawsom amser i alw yno i'w weled. Y mae gan y prifathraw yma gopi o'r Bibl yn gyflawn, yr hwn a brynodd gan Mr. Groignec flynyddoedd yn ol.

---

## BRYNIAU KHASIA.

RHAN O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS, DYDDIEDIG SHANGPOONG, MAWRTH 30AIN, 1882.

DAETH y pethau a anfonodd cyfeillion caredig at wasanaeth y Genadaeth yma ddoe; ac yr wyf yn anfon rhestr o'r enwau fel yr oeddynt ar y parselau. Mae rhai pethau defnyddiol iawn wedi dyfod o leoedd heb enw personau wrthynt; felly nid oes genyf ddim ond ysgrifenu enwau y lleoedd. Treffynnon, Pembrokeshire; Llanfechell (Môn, mae'n debyg); Mr. T. Williams, Grocer, Llanrwst; Mr. and Miss Pierce, Valley; Mrs. Williams *and servant*, Cerryglaban; Mrs. Jones, Tynrheol; Miss Owen, Sgubor Bach, Caergeiliog; M. and M. J. Hughes, Draper, Caergeiliog; Mrs. and Miss Owen, shop, Caergeiliog; Miss Hughes, Dinam Bach, Caergeiliog; Miss Lloyd, West Parade. Diolch yn gynhes i'r cyfeillion uchod oll. Mae yr oll wedi myned i gôst i geisio pethau da a phwrpasol, a rhai wedi ychwanegu trafferth fawr iddynt eu hunain at hyny. Taled yr Arglwydd iddynt yn ei ffordd dda Ef ei Hun am eu caredigrwydd a'u haelioni. Diolch yn fawr hefyd i Mr. David Williams, Conwy, am ei feddylgarwch a'i garedigrwydd yn anfon y *Gofadail Fethodistaidd* i ni: gwerthfawrogaf y gyfrol o herwydd ei gwerth cynhenid ei hun ac o herwydd meddylgarwch y rhoddwr.

## BRYNIAU JAINTIA.

### TAITH I'R DYFFRYNDIR.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG CHWEFROR 10, 1882.

AR y 3ydd o'r mis diweddaf gadewais Jiwai am daith i'r Dyffrynoedd. Gan fod U Jang wedi bod o gymaint o help i mi ar y daith flaenorol, cymerais ef gyda mi, am fy mod yn bwriadu gwneyd y goreu, pan yn ymweled â'r eglwysi a'r ysgolion, i bregethu i'r a siarad â'r bobl yn y gwahanol bentrefi; a chefais ef o help mawr y tro hwn hefyd, gan ei fod yn feistr ar eu hiaith. Wedi cysgu noson yn Jerain, cychwynasom am Padw. Ar ein ffordd yno yr oeddym yn croesi afon fechan a elwir Ka Um Pliang (dwfr y nefoedd). Y mae rhyw gysegredigrwydd neillduol yn perthyn i'r afon hon, oblegid y mae yn dduwies, ac ar un cyfrif ni ddylai neb yfed o'i dwfr hi. Pa fodd bynag, darfu i un o'r rhai oedd gyda mi yfed o hono, gan ei fod yn sychedig. Pan yn yfed daeth hanner dwsin o bobl pentref Pom-tydong heibio, a diau y buasai iddo gael curfa led dost oni b'ai ein bod yn agos ato; fe'i harbedwyd am y tro, gyda gorchymyn pendant na byddai iddo wneyd eto.

Yn agos i Padw y mae gan y pentrefwyr dduw, rhyw ddwy neu dair o geryg ac ychydig o goed wedi eu planu rhyngddynt, i'r hwn y maent yn aberthu yn gyntaf cyn tori neu gasglu dim o ffrwyth y maes. Os meiddia neb wneyd hyny cyn aberthu i'r duw hwn, gwae fydd iddo, gan y bydd i'r duw godi gwynt mawr, yr hwn a ddyhidla y grawn ac a ddyfetha y ffrwyth. Fel y gellwch feddwl, y maent yn gwneyd eu goreu i gadw yn ffafr hwn, gan fod eu bara beunyddiol yn dibynu cymaint arno. Yn agos iddo, ar yr ochr arall i'r llwybr, y mae careg fawr gysgodol, o dan yr hon y maent yn bwyta yr aberthau a aberthir iddo. Nid oes dim neillduol wedi cymeryd lle yn Padw er pan y bum yno o'r blaen. Yr un nifer sydd yn yr ysgol ddyddiol a'r moddion Sabbothol ag oedd yno flwyddyn yn ol. Mae eu gwybodaeth am grefydd Iesu Grist yn cynnyddu yn raddol, a'u cred yn eu hen grefydd yn graddol ddiflanu. Y mae ar feddwl dau o honynt i ymuno â'r Cristionogion yn Sohkha yn lled fuan. Gweithiwr da yw U Long, yr athraw sydd yno, ac y mae yn bur gymeradwy gan y bobl. Cawsom ddau gyfarfod lled lewyrchus gyda phobl y pentref; yr oedd yr ysgoldŷ yn orlawn.

NONGBAREH oedd y lle nesaf i ni fyned iddo. Ar hyn o bryd y mae yr ysgol yn llai mewn nifer nag y byddai yn arfer a bod. Y rheswm a roddir am hyny yw fod

nifer o'r ysgoleigion wedi myned i'r cynhauaf *rice* i'r gwastadedd, a dywedai yr athraw y byddai y nifer yn debyg i'r hyn ydoedd y llynedd wedi iddynt ddychwelyd. Cynnelir moddion Sabbothol yma yn lled gyson y tymmor gwlyb, a bydd yr athraw yn llwyddo i gael o 20 i 30 i wrando, ond nis gall eu cael y gauaf, gan eu bod yn brysur iawn ac yn myned i'r gwastadedd. Y mae yno ddau yn cadw y Sabboth, ac y mae hyn ynddo ei hun yn dyweyd eu bod yn bwriadu troi yn Gristionogion. Byddai yn dda iawn pe caem rhyw nifer i arddel Iesu Grist fel Ceidwad yn y pentref hwn; o bosibl na chaem eraill i'w dilyn wedi tori y garw, fel y dywedir. Daeth y ddau hyn ac amryw eraill i dreulio y Sabboth yn Sohkha pan oeddwn yn aros yno. Dyma arwydd dda iawn eto, teithio amryw o filldiroedd i wrando yr efengyl. Wedi i ni gyrhaedd y pentref, llanwyd yr ysgoldŷ yn fuan, ac wedi i ni gael cwpanaid o dê, tarawsom ati ein dau i bregethu y Gair iddynt. Pan oeddwn yn desgrifio yr Arglwydd Iesu yn adgyfodi Lazarus o'r bedd, Ew! meddai rhyw hen ŵr oedd yn fy ymyl mewn syndod at y fath weithred ogoneddus. Pregethasom ein dau amryw weithiau yma, a chawsom wrandawiad astud. Wrth ddyfod o Nongbareh i Nongtalang yr oeddwn yn myned trwy bentref Kydeng. Pentref bychan a 25 o dai ynddo ydyw hwn heb ysgol ynddo. Gan fod nifer lled dda o'r pentrefwyr gartref arosasom am tua dwy awr i ganu, ac i siarad â'r bobl. Daeth oddeutu 60 i wrando arnom. Y mae y ffordd o'r pentref hwn i Sohkha a Nongtalang ar lechwedd ceunant serth. Yn ngwaelod y ceunant yr oedd bachgen o Sohkha, mi dybiwn, yn canu yn beraidd yr hen bennill anwyl hwnw yn Khasi "Ko Mawsiang na mynhyndai" ("Rock of ages cleft for me, &c.") Nid wyf yn meddwl i mi glywed dim mwy peraidd yn fy mywyd. Yr oedd fy enaid yn llamu gan lawenydd wrth glywed un o feibion yr anialwch yn seinio cân o fawl i Dduw yn nghanol y goedwig pan yn dyfrhâu ei lwyni *pawn leaf*. Pwy a ŵyr nad oedd Duw yn dyfrhâu ei enaid yntau yr un pryd nes iddo dori allan mewn cân.

Er nad oes dim anghysurus, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb, pob peth yn myned yn gysurus yn NONGTALANG, eto nid yw y gwaith yn llwyddo i'r graddau y dymunwn, ac yr wyf yn credu, i'r graddau y gellid ei ddysgwyl. Arosasom yma bum' niwrnod, er i ni gael amser i ymgydnabyddu â'r Cristionogion ac â'r pentrefwyr. Y noson gyntaf arholais yr ysgol ddyddiol, a dysgais iddynt ddwy dôn newydd. Nos Sadwrn yr oedd ganddynt gyfarfod gweddi. Ar ol y cyfarfod gweddi, cynnaliwyd cyfarfod eglwysig er parotoi ein meddyliau a'n calonau i iawn gyfranogi o Swper yr Arglwydd. Boreu Sabboth am saith, cyfarfod i weddïo; am ddeg, Ysgol Sabbothol, yr oedd 50 yn bresennol. Am un o'r gloch y prydnawn, pregethais a chyfrenais y Swper sanctaidd; bedyddiais dair o enethod bychain, had yr eglwys. Pregethodd U Jang yn afaelgar yn y cyfarfod dilynol. Tua dechreu y nos aethom yn un dorf i ganol y pentref i ganu, a daeth oddeutu 200 o bobl ynghyd i wrando. Dywedasom ein dau mor syml ag y gallem am Iesu Grist fel Achubwr pechaduriaid. Ar derfyn y gwasanaeth hwn gofynais iddynt, "A garech i ni ddyfod yma nos yfory eto?" "Carem," meddent yn un llais. Felly y bu, aethom i'r un fan drannoeth, a daeth tua 300 ynghyd. "Melus moes mwy," felly aethom i'r un fan y noswaith ganlynol, a daeth tua yr un nifer i wrando y noson hon hefyd. Drannoeth ffarweliasom â'r brodyr anwyl hyn am dymmor, gan eu rhoddi i ofal Duw pob gras. Yr wyf yn credu y gallem wneyd cryn lawer o les yn y pentref mawr a phwysig hwn, pe y gellid trefnu i ni fel teulu fyned i fyw yno am fis neu ddau bob gauaf. Pan yn aros yma aethum i Nonglamin. Pentref ydyw hwn o dan Nongtalang, ac yn nês i'r gwastadedd. Y mae offeiriad y pentref hwn yn ffafriol i Gristionogaeth, ac y mae pedwar o'i berthynasau eisoes yn aelodau o eglwys Nongtalang, a'r rhwystr mawr ar ei ffordd yntau i fod yw, ei fod yn ofni colli llwyn yr offeiriad, fel ei gelwir. Diau pe byddai iddo droi yn Gristion y byddai iddo ei golli. Wedi cyrhaedd y pentref nid oedd ond ychydig o bobl gartref i'n derbyn; o'r diwedd, pa fodd bynag, cawsom dderbyniad i dŷ rhyw hen wraigan a chanddi gryn lawer o berthynasau. Wedi ymgomio ychydig, deallodd mai *Saheb Skul* (cenadwr) oeddwn, ac nid *Saheb Syrkhar* (un yn perthyn i'r Llywodraeth). Gofynais ei chaniatâd i ganu ychydig o bennillion o flaen ei thŷ; cefais ei chaniatâd, a dywedasom wrthi hi a'i theulu am gariad Duw yn anfon ei Fab i gadw pechaduriaid. Yna ymadawsom ar y teleran goreu.

SOHKHA oedd y lle nesaf i ni aros ynddo. Daethom yma ddydd Mercher, ac aethom oddiyma y dydd Llun canlynol. Yr oedd eu cyfarfod eglwysig y nos Ferch-er. Fel y gwelsoch yn yr adroddiad a roddwyd yn yr Henaduriaeth, y mae yr eglwys hon wedi dyoddef llawer trwy gwympiadau. Aeth tri o'r eglwys i briodi rhai o'r byd, a chwympodd un arall, yr hwn oedd yn pregethu a chymeryd y rhan fwyaf flaenllaw gyda yr achos yma, trwy ystryw ei wraig, ac y mae hyn wedi effeithio yn ddrwg iawn ar y pentref. Gan eu bod heb gyfranogi o Swper yr Ar-

glwydd er yn cryn amser, trefnasom ein bod i gyfranogi y Sabboth. Daeth cynnulleidfa o tua 100 ynghyd y Sabboth. Heblaw pobl Sohkha eu hunain yr oedd eraill o Nongbareh, Padw, Lamin, a rhyw ychydig o Nongtalang, yn bresennol. Yr oedd cael cyfarfod fel hyn yn peri ein bod yn teimlo yn gynhes, ac yn calonogi y cyfeillion yn y gwahanol leoedd, oblegid mewn undeb y mae nerth; yr oedd hefyd yn tueddu i roddi argraff ddaionus ar y pentref. Yr wyf yn credu fod amser gwell yn aros yr achos yn Sohkha. Duw a baro iddi fod felly. Oddiyma yr oeddym yn myned i Lamin yn hwylus, gan nad yw ond hanner milldir o Sohkha. Buom yno deirgwaith yn pregethu yn yr awyr agored. Cawsom gynnulleidfäoedd lled liosog, yn enwedig felly nos Sabboth. Yr oedd tua 150 yn bresennol. Cynnelia yr athraw foddion crefyddol ar y Sabboth yn achlysurol, pan lwydda i gael rhai i ddyfod ynghyd. Y mae pump o'r pentref yn cadw y Sabboth; felly yr ydym yn hyderu y ceir moddion rheolaidd yno cyn hir.

Gan nad yw Darang ymhell o Sohkha, aethum yno. Y mae yno 60 o dai. Y mae cryn debygrwydd rhwng y lle hwn â Shella o ran safle y pentref; y mae y naill a'r llall wedi eu codi ar ochr serth iawn, as y mae afon fawr yn rhedeg gyda godreu y naill a'r llall; ac y mae eu hinsawdd yr un fath—y ddau yn boeth. Hefyd y mae iaith y bobl yn debyg i iaith pobl Shella. Bu ysgol yn y pentref hwn yn amser Mr. Sykes, ond yn anffodus saethodd yr athraw ei hun, a byth er hyny y mae ganddynt ofn ysgol. Wedi cyrhaedd cawsom fod y dynion wedi myned i Dewkhi i ddal pysgod. Gan nad oedd y lle ymhell, a fod U Sangot, penaeth pentref Sohkha, yn myned yno mewn cwch, aethum gydag ef, gan fordwyo yr afon ag sydd yn derfyn rhwng Khasia a Jaintia — Ka Um Ngot. Wedi cyrhaedd gwelsom eu bod oll yn hynod o brysur, ac mai ofer fuasai ceisio hel cynnulleidfa, gan fod pob un â'i feddwl ar ddal pysgod. O dipyn o bellder buasech yn meddwl fod yno bentref wedi ei godi ar wely yr afon, ond wedi d'od yn agos gwelech mai bythynod oeddynt wedi eu codi gan y pysgotwyr i fyw ynddynt am dair wythnos neu fis tra yn dal pysgod. Bydd pobl o'r pentrefi cylchynol, ac yn wir rhai o Jiwai, ac o'r Gwastadedd, yn d'od yno i brynu. Yma ac acw gwelech wragedd y pysgotwyr yn prysur lanhâu a gosod pysgod i sychu yn ngwres yr haul, ac eraill yn berwi y pysgod oeddynt wedi sychu eisoes mewn *oil* fel ag iddynt gadw trwy yr haf.

Derbyniwyd ni yn siriol gan y *Dolloi*. Bu yn siarad-dro yn ol am gael athraw yno, a'r tro hwn yr oedd yn adgoffa am hyny, ond ymddengys i mi nad yw y pentref ei hun yn ddigon addfed ar hyn o bryd i sicrhâu nifer lled dda o'r plant i fod yn bresennol. Ar yr ochr dde i'r afon, wrth fyned i lawr, y mae yno gareg fawr hirgron, â'i phen uchaf wedi ei wyngalchu, a baner wèn wedi ei sicrhâu arni yn chwyfio yn yr awel; hon yw cartrefle y duw U Juplem. Addolir hwn gan y Khasiaid a'r Bengaliaid. Ni lwyddais, er ceisio, i gael gwybod pa fath un ydyw. Y mae yno *fakir* yn byw mewn lle wedi ei gafnio o dan y gareg, a gwna fywioliaeth dda trwy y rhoddion a roddir i'r duw gan y Bengaliaid. Dygwyddodd yn anffortunus iawn i wraig U Juplem. Yr oedd hi yn byw mewn careg yr un fath yn union a'r hon y mae efe yn byw ynddi, a dim ond rhyw ychydig o latheni oddiwrtho, ond trwy ryw anffawd neu gilydd syrthiodd y gareg i'r afon a'r dduwies gyda hi, ac yno y maent eu dwy dros eu pen a'u clustiau, ac yn methu a chodi oddiyno, ac U Juplem ei hun yn methu gweini un ymwared iddynt. Dywed rhai ei bod hi, y dduwies, yn rhoddi ambell i ruddfaniad ar brydiau, ac yn attal eu rhwydau pan yn eu tynu trwy y rhan hono o'r afon. Ond teg ydyw i mi ddyweyd na welais ddim o honi ac ni chlywais ddim oddiwrthi. Ar y llaw chwith, drachefn, dangoswyd i mi lun yr haul a'r lleuad wedi eu tori yn nghanol y graig. Credant yn ddiysgog mai gwaith Duw oedd y cerfluniau, a'u bod yno er creadigaeth y byd. Nid yw hyn ond un engraifft o'r eilunaddoliaeth a'r ofergoeledd sydd yn llenwi y wlad. Mwyaf oll yr ydym yn dyfod i wybod am danynt, y mae eu trueni yn ymddangos fwyfwy yn barbâus. "Tywyllwch a orchuddia y ddaear, a'r fagddu y bobloedd;" ond yr ydym yn hyderus y bydd i'r naill a'r naill ddiflanu o flaen "Goleuni y byd."

Wrth ddychwelyd o Dewkhi safasom a chanasom yn nghanol pentref Darang, ond ni ddeuai neb o'r gwragedd na'r plant yn agos atom, gan nad oedd y dynion gartref. O'r diwedd aethom i ryw dŷ yno, ac wrth siarad am y naill beth a'r llall gwnaethom ein ffordd i siarad am grefydd Mab Duw; a chan fod pobl y tŷ yn gwrando, cymerodd eraill galon a daethant ymlaen.

Twa Sydia oedd y lle nesaf i ni ymweled âg ef. Y noson gyntaf holasom yr ysgol, a chawsom eu bod yn dyfod ymlaen yn lled dda—y dynion a'r merched; yna canasom amryw o bennillion. Boreu dranoeth, am saith, cadwasom gyfarfod eglwysig, er cael ymddyddan â thri oedd eisieu cael eu bedyddio, dau o ba rai a dderbyniwyd i gyfranogi o Swper yr Arglwydd hefyd. Yr oeddynt oll o'r un teulu—dau frawd, ac ŵyr iddynt. Rhoddasant atebion da, ac ystyried eu manteision. Yn yr hwyr pregethodd U Jang i

gynnulleidfa o tua 60, a dywedais innau dipyn am y ddwy ordinhâd, a gweinyddais y ddwy. Drwg genyf ddyweyd fod dau wedi syrthio o'r eglwys hon yn ddiweddar. Y mae pobl y pentref hwn mewn tipyn o bryder, gan eu bod yn ofni y bydd raid iddynt dori i fyny eu pentref. Oddiwrth y *pawn leaf* y maent yn ennill eu bara beunyddiol, ac y mae y *Zemindar* yn gwrthod ail-basio eu llwyni iddynt ar derfyn y brydles bresennol, o herwydd fod ymgyfreithio wedi bod rhyngddynt â phobl Padw. Gan fod y *Zemindar* yn wreiddiol o Padw, ac yn cydaberthu â hwy, ystyrir yn anghyfreithlawn iddo ailosod y llwyni i bobl Twa Sydia hyd nes y bydd iddynt ymgymmodi â phobl Padw. Os bydd i'r pentref ymwasgaru, bydd i'r achos bach sydd yno ddarfod, ond ni bydd i'r had sydd wedi ei hau yno fyned yn ofer; yr ydym yn credu y bydd iddo ddwyn ffrwyth mewn lleoedd eraill.

IONGUSHEN oedd y lle nesaf i ni fyned iddo. Cwyno y mae y cyfeillion yma eu bod yn fychain a gweiniaid; ac y maent felly mewn gwirionedd, ond y maent yn bur ffyddlawn. O'r ychydig Gristionogion sydd yma, y mae un wraig wedi syrthio o'r eglwys, gan iddi dderbyn ei gŵr yn ol wedi ymwahanu oddiwrtho. Llwyddasom i gael cynnulleidfa o 50 i 60 ddwywaith yma. Nid yw y gynnulleidfa reolaidd yn rhifo dros ddeuddeg. Tra yma bedyddiais Ka Kymi U Simon a thri o'i phlant, a derbyniwyd hi a'i gŵr at Fwrdd yr Arglwydd. Y mae U Kypa U Simon wedi profi ei hun yn Gristion ffyddlawn a da, yn ngwyneb llawer o ddigalondid gyda y gwaith. Gobeithio y bydd iddo oleuo a llosgi yn ddysglaer hyd ei fedd. Yr ydym yn rhyw hyderu y bydd i'r achos lwyddo hyd yn nod yn Iongushen cyn llawer o flynyddoedd; y mae y bobl yn nesu rhyw ychydig. Yr Arglwydd, yr hwn a bïau'r gwaith, a drugarhäo wrth y pentref hwn.

Cyrhaeddasom SYNDIA ddydd Gwener, ac arosasom yno dros y Sabboth. Fel y mae yn hysbys i chwi bellach, trwy yr adroddiad o'r Henaduriaeth, y mae cyfnewidiad er gwell yn y pentref hwn. Erbyn hyn y mae yno eglwys—wyth mewn nifer, ac, ar y cyfan, y maent yn rhai deallus. Y mae yma foddion rheolaidd ar y Sabboth, y gynnulleidfa a'r Ysgol Sabbothol yn rhifo 16 o bersonau. Y mae y pentref hwn yn ddwy ran, â bryn pryd-ferth rhyngddynt, ond ei fod yn wyllt gan ddyryslwyni. Ar y bryn hwn y maent yn bwriadu adeiladu ysgoldŷ newydd a mwy eang na'r un sydd ganddynt yn bresennol, ac y maent eisoes wedi clirio rhan o hono, a thori coed yn y goedwig i adeiladu yr ysgoldŷ, yr hwn, gan ei fod mewn lle canolog, fydd yn fanteisiol i'r ddwy ran. Cawsom gynnulleidfa o 60 ddwywaith y Sabboth. Daeth yr ychydig gyfeillion sydd yn Iongushen, a rhai o Twa Sydia, yno, ond yr oedd y nifer mwyaf o bobl y pentref ei hun. Gobeithiaf y bydd i'r fechan yn y lle hwn fyned yn fil.

Bum yn ymweled â NYRTIANG a NONGBAH hefyd. Yn y lle blaenaf rhywbeth yn gyffelyb ydyw yr achos i'r hyn ydoedd flwyddyn yn ol. O herwydd symudiadau, y mae y gynnulleidfa yn llai o bedwar. Fe ychwanegwyd chwech at yr eglwys yn ddiweddar. O berthynas i bentref Nyrtiang ei hun, yr wyf yn hyderus y bydd gwedd fwy calonog ar bethau yno y flwyddyn nesaf, gan fod y *Dolloi* a'r *Pators* wedi adgyweirio yr ysgoldŷ. Bum yn dysgwyl wrthynt am gryn amser, ond o'r diwedd maent wedi ei wneyd yn gysurus i bobl ymgynnull ynddo. Y Sabboth aethom yno yn dorf o'r bryn Cristionogol i'w ailagor, fel y dywedir, a daeth y *Dolloi* i'r gwasanaeth. Flynyddau yn ol byddai yn arfer gwrando yn lled gyson; ond o herwydd rhyw achos neu gilydd, darfu iddo ddigio yn aruthrol, a rhoddodd i fyny dyfod i'r Ysgol y Sabboth. Gobeithiaf y bydd iddo ail ddechre o ddifrif, ac y daw o hyd i'r Ceidwad. Yr Arglwydd a drugarhäo wrtho.

Nid oes dim neillduol i'w gofnodi am NONGBAH. Y mae y gynnulleidfa, yr Ysgol Sabbothol a dyddiol, yn dal eu tir, ond o'r braidd y gellir dyweyd eu bod yn ychwanegu cryfder. Ymhlith y rhai sydd yn dysgu darllen, &c., y mae y *Dolloi* ac un o *Pators* y pentref.

Wrth ddiweddu fy adroddiad am y daith hon, fy ngweddi yw, "Deled dy deyrnas. Gwneler dy ewyllys, megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd."

---

D.S.—Gellir cael Tocynau i gasglu at y Genadaeth, Blychau Cenadol, Tocynau a Rheolau Cymdeithasau y Merched, ond ymofyn â'r Ysgrifenydd.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 621.] GORPHENAF, 1882. [LLYFR LII.

## DYLEDSWYDD YR EGLWYS AT DDYCHWELEDIGION IEUAINC.

GAN Y PARCH. JOHN E. DAVIES, M.A., B.Sc., LLANELLI.

*(Pwnc rhoddedig gan Gyfarfod Misol Sir Gaerfyrddin.)*

ACTAU xi. 22—24: "A'r gair a ddaeth i glustiau yr eglwys oedd yn Jerusalem am y pethau hyn: a hwy a anfonasant Barnabas i fyned hyd Antiochia. Yr hwn pan ddaeth, a gweled gras Duw, a fu lawen ganddo, ac a gynghorodd bawb oll, trwy lwyrfryd calon, i lynu wrth yr Arglwydd. Oblegid yr oedd efe yn ŵr da, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân, ac o ffydd: a llawer o bobl a chwanegwyd i'r Arglwydd."

DARFU i Iesu Grist, yn y bregeth ar y mynydd, osod allan, mewn dwy gymhariaeth syml, ddyledswydd yr eglwys yn ei pherthynas â'r byd mawr llydan. Y gymhariaeth gyntaf oedd y gymhariaeth o halen, a gwaith yr halen fel defnydd cyfansawdd yw puro, halltu, a glanhâu. Yn ei elfenau cynhenid y mae defnyddiau yr halen yn bur wahanol. Y mae un o'r elfenau yn rhy ysgafn ac anadnabyddus i fod o nemawr wasanaeth ar ei phen ei hun ar wyneb y ddaear, tra y mae'r llall yn elfen rhy gref a gwenwynig i neb fedru trafod llawer arni yn ddiberygl. Felly yn union am eglwys Crist: y mae hithau yn cael ei gwneyd i fyny o ddwy elfen; ac y mae un o'r elfenau hyn yn rhy ysgafn a phur i allu bodoli yn hir ar ei phen ei hun ar wyneb ein daear ni, tra y mae'r llall yn elfen rhy gref i drafod llawer arni heb niwed. Ond wedi i ras y nef a'r natur ddynol gael eu huno, y mae yna ddefnydd cyfansawdd yn cael ei ffurfio, sydd yn cyfansoddi eglwys Crist ar y ddaear; a gwaith yr eglwys hono yw puro a phereiddio holl diriogaeth dyn. Y gymhariaeth arall a ddefnyddiodd Crist oedd y gymhariaeth o oleuni. Gwaith y goleuni, drwy gyfuniad saith o wahanol liwiau, ydyw ymlid y tywyllwch, neu'r lliw du, ymaith o'i flaen. Anhawdd dyweyd beth ydyw'r goleuni ynddo ei hun; ond beth bynag ydyw, y mae un peth yn sicr, sef mai yr haul yw ei ffynnonell, ac mai oddiyno y mae'r pelydrau yn dyfod, gan redeg gyrfa gyflym, a theithio mewn llinellau union i ymosod ar dywyllwch ymhob cyfeiriad. Felly y mae eglwys Crist. Y mae hithau, drwy gyfuniad gwahanol rasusau, yn oleuni gras i'r byd. Anhawdd penderfynu yn hollol, fe ddichon, beth ydyw natur goleuni yr eglwys; ond beth bynag ydyw, y mae un peth yn sicr, sef mai Haul mawr y Cyfiawnder yw ffynnonell y goleuni; ac allan o hono Ef y mae pelydrau gras yn deillio, gan redeg gyrfa gyflym, a theithio mewn llinellau union i ymosod ar dywyllwch Aiphtaidd byd o bechod ymhob cyfeiriad. "Goleuni i oleuo'r cenedloedd" yw Crist ei hun, ac y mae'r eglwys yn cael ei defnyddio fel cyfrwng trosglwyddiad y goleuni hwn i eraill.

Ond dichon y dywed rhywrai mai geiriau Crist wrth ei apostolion, ac wrthynt hwy yn unig, yw y geiriau y cyfeiriwyd atynt. Addefwn ninnau mai'r dysgyblion a wasgodd at ei draed ar y mynydd; ond yr oedd y torfeydd yno hefyd, y rhai a synasant wrth ei ddysgeidiaeth ef; ac felly credwn mai dyledswydd y dysgyblion yn

eu perthynas â'r torfeydd, neu mewn geiriau eraill, dyledswydd yr eglwys yn ei pherthynas â'r byd, yw yr hyn a ddysgir yn y geiriau. Wedi i'r eglwys gael ei goleuo, y mae hithau i oleuo eraill. Y mae'r llestri pridd, i ba rai yr ymddiriedwyd trysor goleuni yr efengyl, i gludo'r trysor, a'i gynnyg i eraill na chlywsant am dano ac na wyddant ei werth. Cenadon i Grist yn yr ystyr yma oedd yr apostolion, ac yn neillduol yr apostol Paul. Drwy ei weinidogaeth ef a Phedr yr agorwyd y drws i'r efengyl at y Cenedloedd; drwy eu hofferynoliaeth hwy a'u canlynwyr y planwyd eglwysi Cristionogol yn nhrefydd a dinasoedd y byd paganaidd, y braenarwyd daear Barbaria i dderbyn had y deyrnas, ac y swynwyd llawer o gywion yr estrys i wrandaw ar lais y durtur.

Ond sylwer mai dyledswyddau cyffredinol yr eglwys yn ei chysylltiad â'r byd yw y rhai hyn. Y mae yna gylch arall, mwy cyfyng, o ddyledswyddau yn perthyn i'r eglwys. Wedi hau, rhaid gofalu am yr hâd. Wedi i Paul blanu, rhaid i Apolos ddyfrhâu. Wedi bwrw'r ŵyn, rhaid eu perthi. Y mae geiriau'r testun yn cyflwyno i'n sylw un o ddyledswyddau yr eglwys o fewn y cylch cyfyng hwn. Y mae yma rywrai sydd newydd eu dychwelyd yn cael eu cynghori i lynu drwy lwyrfryd calon wrth yr Arglwydd; hyny yw, y mae yr eglwys i ofalu am ei phlant newyddanedig. Pan gymerodd amgylchiadau y testun le, nid oedd yr eglwys gristionogol ond yn nyddiau ei mabandod. Yr oedd Sanct Fab Duw wedi esgyn i'r nefoedd; yr oedd tywalltiad yr Ysbryd ar ddydd y Pentecost wedi dwyn y Dyddanydd arall i adnabyddiaeth a phrofiad yr apostolion; yr oedd arosiad y Dyddanydd hwnw yn eu plith yn dwyn tystiolaeth barhâus i air ei ras Ef; a thrwyddo yr oedd yr apostolion yn egluro i'r byd fawrion a dyfnion bethau Duw. Yn llyfr yr Actau yr ydym yn cael hanes gweithrediadau yr apostolion o dan ddylanwad yr Ysbryd Glân; ac y mae yr hanes hwn yn dangos yn amlwg fod cylch llafur yr apostolion yn ëangu yn barhâus fel yr oedd amser yn dirwyn heibio. Cawn mewn un adnod yn y benned gyntaf o'r llyfr olwg gryno ar y modd yr oedd cylch llafur yr apostolion yn ymeangu y naill flwyddyn ar ol y llall; a'r adnod hono yw yr hon a lefarodd Crist wrth ei ddysgyblion cyn iddo esgyn. "Chwi a fyddwch dystion i mi yn Jerusalem, yn Judea, a Samaria, ac hyd eithaf y ddaear." Dyna dri chyfnod a thri cylch gwahanol mewn tri chyfnod. Jerusalem yn unig oedd y cylch ar y cychwyn: "Gan ddechre yn Jerusalem." Yn nesaf cynnwysir Judea a Samaria yn y cylch; ac yna, wedi i ddrws yr efengyl i gael ei daflu yn agored i fyned at y Cenedloedd, nid oedd un cylch mwy cyfyng i gael ei benu i faes eu llafur nag "hyd eithaf y ddaear." Wrth fod y cylch fel yna yn cael ei eangu, yr oedd eglwysi newyddion yn cael eu planu, ac anghenrhaid newydd yn codi am ddyfrhâu y gwinllanoedd oedd eisoes wedi eu planu. Ac O mor amlwg yn yr amgylchiadau hyn ydyw fod Ysbryd yr Arglwydd yn cymeryd ei ffordd ei hun i weithio! Y mae Jerusalem eisoes wedi ei chynhyrfu drwyddi, y mae Judea a Samaria wedi eu tanio gan Ysbryd y peth byw; ac erbyn amser llefariad geiriau'r testun, y mae'r gwreichion yn dechre esgyn, yn myned dros y terfynau, ac yn disgyn draw ymhell ar randiroedd y Cenedloedd. Dyna un wreichionen wedi disgyn ar dŷ Cornelius, ac fe losgwyd yr adeilad, ond fe arbedwyd y bywydau. Dyna un arall wedi cyrhaedd hyd yn Phenice, un arall hyd yn Cyprus, ac un arall hyd yn Antiochia, gan osod y lle hwnw eilwaith ar dân; ond mawr a fu gras Duw yn achubiaeth y bobl. Gellid meddwl oddiwrth leoliad y testun mai parhâd o hanes yr efengyl ymhlith y Cenedloedd ydyw; ond nid felly y mae; eithr cysyllta Luc yr hanes hwn â hanes llabyddiad Stephan yn y seithfed bennod. Diwedda yr hanes hwnw fel hyn: "A'r rhai a wasgarasid a dramwyasant gan bregethu y gair;" ac yma cymerir yr hanes i fyny fel hyn, "A'r rhai a wasgarasid o herwydd y blinder a godasai ynghylch Stephan a dramwyasant hyd yn Phenice a Cyprus ac Antiochia." Dengys hyn oll fod Ysbryd yr Arglwydd yn cymeryd ei ffordd ei hun i weithio, a bod yr effeithiau yn dra chynhyrfus ar y pryd. Darfu i ddyrnaid o bobl oeddynt wedi ffoi yn amser llabyddiad Stephan gario'r gair gyda hwy i Antiochia; ac y mae Ysbryd Duw yn arddel y pregethiad o'r gair;

a'r canlyniad yw fod yna ddiwygiad grymus yn tori allan yn y lle; diwygiad mor rymus nes oedd y sôn am dano yn cael ei wasgar i bob cyfeiriad. Ymhlith lleoedd eraill "y gair o hyn," neu yr hanes am y diwygiad, "a ddaeth i glustiau yr eglwys oedd yn Jerusalem;" a gallem feddwl mai hanes y diwygiad yn Antiochia oedd testun yr ymddyddan rhwng pob dau ar hyd heolydd Salem yn y dyddiau hyny. Prawf cryf o'r effaith gafodd yr hanes ar eu meddyliau, yw eu bod yn y cyfarfod eglwysig cyntaf a gawsant ar ol hyn, yn enwi un o'u nifer i fyned i dalu ymweliad â'r frawdoliaeth yn Antiochia. A Barnabas, mab dyddanwch, neu fab cynghor, oedd y genad anfonedig; a thra phriodol ydoedd danfon mab cynghor i gynghori dychweledigion ieuainc Antiochia.

Ond gallem feddwl mai fel beirniad a deddfwr yr oedd Barnabas wedi ei anfon, yn hytrach nag fel cenad i galonogi y dychweledigion ieuainc. Bwriedid iddo edrych i fewn yn bur fanwl i'r holl weithrediadau, a hyny yn benaf, fe ddichon, am mai nid y pregethwyr arferol—nid yr apostolion, oedd wedi bod yn gyfryngau y diwygiad, ond yn hytrach rhyw grwydriaid oedd wedi ffoi mewn ofn o dir eu gwlad yn amser llabyddiad Stephan. Ond er y cwbl, pan ddaeth Barnabas i'r lle, a gweled gras Duw, dyna a ddywedir, "Fe a fu lawen ganddo, ac a gynghorodd bawb oll trwy lwyrfryd calon i lynu wrth yr Arglwydd." Cymerwn ninnau y wers: pwy bynag a welo Ysbryd Duw yn dda i'w defnyddio fel cyfryngau i wneyd gwaith drosto, pa un bynag ai clerigwyr ai lleygwyr, cenadon neu genadesau, os bydd bys Duw yn y gorchwyl, peidiwn gosod un rhwystr ar y ffordd. Er fod Barnabas wedi cychwyn oddicartref â chryn gulni, fe allai, yn ei feddwl, eto pan welodd efe faint oedd gras Duw wedi ei wneuthur, fe fu lawen ganddo. Dyma fab cynghor wedi troi, yn llythyrenol, i gynghori y dychweledigion ieuainc yn Antiochia; a sicr yw fod ei esiampl yn esiampl deilwng i eglwys Crist i'w dilyn ymhob oes a gwlad.

Felly y pwnc sydd yn cynnyg ei hun i'n sylw oddiwrth y geiriau yw, *Dyledswydd yr eglwys at ddychweledigion ieuainc.*

Nid oes dim yn fwy eglur yn ngoleuni gair Duw na bod yna ddyledswydd bwysig yn orphwysedig ar yr eglwys yn ei chysylltiad â'i phobl ieuainc; a chredwn fod y ddyledswydd hono yn gynnwysedig mewn un frawddeg, sef, *cadarnhâu eu ffydd.*

Y mae'r Bibl, ac yn neillduol y Testament Newydd, yn rhoi lle mawr i'r ddyledswydd hon. Wedi i Iesu Grist gael prawf o ffydd a chariad Pedr gynt, y mae yn gorchymyn iddo borthi ei ŵyn; a pha beth yw hyny ond gofalu am rai sydd eto heb gyrhaedd oedran defaid yn y gorlan? Wedi i Paul blanu, yr oedd yn rhaid i Apolos ddyfrhâu; a pha beth yw hyny ond gofalu fod rhedweliau dwfr y bywyd yn cael eu cyfeirio i ddisychedu planigion ieuainc teyrnas nefoedd yn ngwinllan yr eglwys? Wedi i'r apostolion blanu eglwysi mewn gwahanol ddinasoedd a threfydd, yr oedd yn rhaid gosod henuriaid, neu seithwyr da eu gair, i ofalu am danynt; a pha beth yw hyny ond dangos fod yn rhaid i'r mawr ddysgu y bach i gerdded? Wedi i dorf o weiniaid un tro gael eu derbyn i'r eglwys, yr oedd yn rhaid gofalu rhoddi llaeth, ac nid bwyd cryf, yn ymborth iddynt; a pha beth yw hyny ond prawf fod yn rhaid i'r cristion ieuanc gael ymborth cyfatebol i'w natur, er mwyn sicrhâu ei gynnydd? Wedi i Paul gael bod yn gyfrwng yn llaw Ysbryd Duw i droi llawer i'r ffydd, yr oedd yn rhaid iddo gael ei ddefnyddio drachefn fel cyfrwng yn llaw yr un Ysbryd i ysgrifenu llythyrau anfarwol i gadarnhâu y cristionogion ieuainc; a pha beth yw hyny ond prawf fod eisieu i'r eglwys fod ar ddihûn ymhob oes gyda'r ddyledswydd o adeiladu ei phlant ysbrydol yn y sancteiddiaf ffydd?

Ond cyn bod ar dir priodol i wneyd hyn, y mae yna un anhebgor pwysig y rhaid i'r eglwys ei hun fod yn feddiannol arno. Er mwyn bod yn gymhwys i gadarnhâu ei phlant yn y ffydd, rhaid i'r eglwys fod yn feddiannol ar ffydd gref ei hunan. Nid oedd Pedr i gael porthi yr ŵyn heb fod ganddo ffydd yn a chariad at Grist yn gyntaf fel rheswm dros hyny. Nid oedd henuriaid a diaconiaid yr eglwysi boreuol i wasanaethu eu swyddau heb iddynt ymlaenaf gael eu neillduo i'r gwaith drwy osodiad dwylaw, a hyny am fod y cymhwysder gofynol ynddynt i'r gwasanaeth. Nid oedd Paul i ysgrifenu llythyrau i gadarnhâu ffydd y cristion-

ogion ieuainc heb iddo gael profi pethau mawrion ac annhraethadwy yn ei fynwes ei hun yn gyntaf; ac nid oedd Barnabas i gael cynghori dychweledigion ieuainc Antiochia, heb iddo cyn hyny gael ei wneyd yn fab cynghor drwy i ras mawr gael ei osod arno ac ynddo. Y cymhwysder neillduol ynddo ef i gynghori oedd ei fod wedi cael ei lanw o'r Ysbryd Glân ac o ffydd; a'r cymhwysder hwn yn unig oedd yn gwneyd ei gynghor yn effeithiol. Sicr yw mai y dyn sydd wedi bod yn feddwyn a ŵyr oreu am ddrwg meddwdod; a'r un fath, o'r ochr arall, y dyn sydd wedi profi pethau daionus a ŵyr oreu werth pethau da, ac sydd yn fwyaf cymhwys i'w cymhell ar eraill. Felly yr oedd Barnabas, ac felly y dylai fod eto yn eglwys Crist. Dylai y rhai sydd yn cyfranu gair y gwirionedd, er ei *iawn* gyfranu, fod eu hunain yn gryfion yn yr Ysgrythyrau; dylai y rhai sydd yn proffesu bod yn gyfryngau yn llaw yr Ysbryd Glân i ddysgu y byd, fod eu hunain wedi eu bedyddio â'r Ysbryd Glân; a dylai y rhai sydd yn ceisio cadarnhâu ffydd eraill fod eu hunain yn gyntaf yn golofnau y ffydd.

Ond na feddylied neb ein bod, wrth ddywedyd hyn, yn golygu mai yr eglwys sydd yn gwneyd yr oll er cymhwyso dyn i'r nefoedd. O na! yr Ysbryd Glân sydd yn aileni pechadur ac yn ei wneyd yn gymhwys i ogoniant, ond nid yr Ysbryd Glân ar wahan oddiwrth yr eglwys, eithr yr Ysbryd Glân drwy gyfrwng yr eglwys. Wedi i'r pren dyfu yn y goedwig, rhaid cael saer celfydd i drin llawer arno cyn gwneyd o hono ddodrefnyn digon prydferth i addurno neuadd y gŵr boneddig. Felly hefyd wedi i'r Ysbryd Glân wneyd dyn yn gristion, rhaid i'r eglwys eilwaith, fel cyfrwng yn llaw yr Ysbryd, drin llawer arno cyn gwneyd cristion *prydferth* o hono. Dyledswydd yr eglwys at y dychweledigion ieuainc yw ein pwnc ninnau; ac y mae geiriad y pwnc yn dangos fod y personau y cyfeirir atynt wedi gadael y drwg ac yn dechreu glynu wrth y da—wedi gadael y ffordd lydan, ac yn dechreu teithio ar hyd y ffordd gul; ac felly y cwestiwn yw, Pa fodd i hwyluso eu cerddediad ar ffordd y bywyd? neu, i gadw at yr un ffugyr, Pa fodd i gadarnhâu eu ffydd?

Fel moddion cadarnhâd ffydd y dychweledigion ieuainc, rhodder prawf ar y pethau canlynol.

1. *Edrycher i fewn yn fanwl i wirionedd a didwylledd eu dychweliad.*

Gorchwyl hawdd iawn ar adegau cynhyrfus yw i rai nad ydynt ddefaid ymddangos yn nghorlan y defaid; a diammheuol genym fod yna fleiddiaid rheibus weithiau yn gwneyd eu hymddangosiad ymhlith y praidd. Nid hâd da yw pob peth sydd wedi cael ei hau, hyd yn nôd ar faes cysegredig yr eglwys. Na! y mae'r gelyn ddyn wedi dyfod i mewn yn llechwraidd o hyd nos, ac wedi hau efrau ymhlith y gwenith. Y mae yna rywrai wedi dyfod i fewn i'r winllan sydd heb erioed dywyllu'r drws ar eu dyfodiad; a lladron ac yspeilwyr sydd wedi dringo ffordd arall yw'r cyfryw. Yn awr, gan fod hyn yn ffaith, dyledswydd gyntaf yr eglwys yw edrych i fewn a cheisio deall pa un ai plant ai estroniaid sydd wedi gwneyd eu hymddangosiad ar lawr y tŷ. Ac os ceir allan mai estroniaid ydynt, neu fod estroniaid yn eu plith, y cwestiwn yw, Beth i wneyd o honynt? Wel, credwn y dylid gwneyd â hwy fel y gwnaeth Crist â'r newidwyr arian,—eu troi allan. Gwir fod hyn yn orchwyl caled i'w gyflawni; ond o'i gyflawni fe gliria yr awyrgylch ysbrydol, ac fe frasheir daear yr eglwys mewn canlyniad.

Ond dichon y dywedir mai gorchwyl rhy anhawdd yw gwybod pwy sydd blant a phwy sydd estroniaid ar adeg mor fore yn eu hanes. O bosibl hyny; ond os ceir allan fod yna'r duedd leiaf at ddaioni, arferer pob tynerwch, er mwyn i egwyddor y galon gael chwareu teg i ymddadblygu. Cof genym weled a chlywed un gweinidog parchus unwaith yn holi geneth ieuanc oedd yn ymgeisydd am aelodaeth eglwysig; ac wrth weled fod y ferch yn methu ateb un cwestiwn yn egwyddorion symlaf y grefydd gristionogol, dyna a ddywedodd y gweinidog, "Y mae'r ferch yn gwybod rhy fach i gael ei hachub; ond byddwch dyner o honi, a gadewch iddi gael bod am dymmor ar brawf o flaen yr eglwys." Gofalwn ninnau am arfer pob tynerwch, gan beidio anghofio'r sefyllfa prawf o flaen yr eglwys. A thrwy fod yn llygadgraff gyda'r cam cyntaf hwn, fe fydd yn bosibl i ni ddidoli'r estroniaid o blith y plant; ac wedi i'r chwŷn gael eu tynu

ymaith, fe ga planigion ieuainc y winllan drech mantais i dyfu a chynnyddu yn y ffydd gristionogol.

2. *Gofaler am eu cadw o fewn terfynau moesol iach.* Sicr yw fod hon yn ffordd effeithiol iawn i gadarnhâu ffydd y dychweledigion ieuainc. Y mae'r fath beth yn bod â therfynau tu hwnt i ba rai nad yw yn weddus i grefyddwyr gynnyg byw. Y mae *North and South Poles* mewn ystyr ddaearyddol, y rhai ydynt yn begynau rhy bell i gyrhaedd atynt; ac nid yn unig hyny, ond y mae yna berygl myned yn rhy agos at y pegynau, am fod yr hinsoddau yn gyfryw nas gellir eu dal. Yr un fath yn union mewn ystyr grefyddol. Y mae yna ryw *North and South Poles*—rhyw begynau nas gall y dyn crefyddol gyrhaedd hyd atynt; ac nid yn unig hyny, ond y mae yn beryglus myned yn agos iawn yn nghyfeiriad y pegynau. Nid yn unig y mae meddwdod ac anlladrwydd yn begynau rhy bell, ac yn bechodau rhy anfad i'r dyn crefyddol, ond y mae pechodau llai, megys cyfeddach a diotta, ac anonestrwydd gyda phethau bychain, yn hinsoddau rhy beryglus i'r dyn crefyddol i'w dal yn hir.

Un ymdrech fawr sydd wedi cael ei gwneyd gan naturiaethwyr yn ddiweddar ydyw cael allan derfynau y tymheredd *(limits of temperature)* a fedr gwahanol greaduriaid ddal heb farw; hyny yw, cael allan pa faint o wres a fedr creadur ddal heb farw ar un llaw, ac ar y llaw arall, pa faint o oerfel a fedr ef ddal. Y mae y darganfyddiadau sydd wedi eu gwneuthur yn dangos fod yna amrywiaeth mawr yn hyn o beth. Y mae yna ryw greaduriaid bychain yn y môr sydd yn medru dal eithafion dirfawr o wres, ac eto heb farw; ac eraill sydd yn medru dal eithafion ofnadwy o oerfel ac eto dal yn fyw. Ond er yr holl amrywiaeth sydd yn hyn mewn natur, y mae yr holl ddarganfyddiadau yn dangos yn amlwg fod yna derfynau yn bod tu hwnt i ba rai na fedr yr un creadur fyw. Wel, càn wired a bod hyn yn ffaith yn y byd anianyddol, y mae yn ffaith hefyd yn y byd crefyddol. Y mae yna ryw derfynau tu hwnt i ba rai nas gall dynion fyw a bod yn grefyddol yr un pryd. Y cwestiwn gan lawer yw, Pa le i dynu y llinell derfyn? Ond ffolineb hollol yw ceisio chwilio am y llinellau terfynol. Nid oes wahaniaeth pa le y maent; eithr cadwer mewn cof gyfarwyddyd y Bibl ar y pwnc—rhodio ar hyd canol llwybr barn. O ïe, ar hyd canol y llwybr, gan gadw y ffosydd yn y pellder ar bob tu. Y mae cynghor y gŵr doeth yn hynod darawiadol ar y pwnc: "Portha dy fynod gerllaw pebyll y bugeiliaid." Y mae yn beryglus i'r mynod a'r ŵyn bach grwydro ymhell i'r anialwch, rhag ofn i ryw gadnaw, llewpard, neu flaidd eu hysglyfio; ond wrth eu cadw gerllaw pebyll y bugeiliaid y mae diogelwch. Cymerwn ninnau y wers, drwy gadw y dychweledigion ieuainc yn agos i'r cysegr, ac o fewn terfynau moesol iach; a'r cyfryw bethau a fyddant yn sicr o ddylanwadu er cadarnhâu eu ffydd.

3. *Siarader yn galonogol â'r dychweledigion ieuainc.* Fe ddichon mai gormod tuedd sydd wedi bod i ddangos ochr ddu pethau i'r crefyddwyr ieuainc —dangos y tywydd garw, gan anghofio y tywydd teg—dangos y groes, gan anghofio y goron—dangos y tlodi, gan anghofio y deyrnas. Credwn yn gystal â neb mai "trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." Ond os oes gorthrymderau yn bod, y mae gwynfydau yn bod hefyd; os oes galaru i fod, y mae dyddanu i fod yn gystal â hyny; ac os oes colli dagrau i fod ar un llaw, y mae sychu ymaith bob deigryn i fod ar y llaw arall, cyn y byddo'r ddysgeidiaeth yn gyflawn. Pa reswm fyddai i'r amaethwr, yn amser y cynauaf ddyweyd, "Ni wnaf fi hau hadau yn fy ngardd nac yn fy maes eleni; y mae arnaf ofn i'r llwydrew ddifa holl ffrwyth fy llafur?" Ond er mor afresymol fyddai peth felly, dyna'r dull a gymer llawer i gynghori crefyddwyr ieuainc. Gwell genym ni gredu fod yr Hwn sydd wedi rhoddi y maes yn sicr o ofalu am dymmorau ffrwythlawn i wneyd y goreu o'r maes; a'r un fath credwn fod yr Hwn sydd wedi trefnu y demtasiwn wedi gofalu trefnu ynghyd a'r demtasiwn "ddiangfa hefyd fel y galler ei dwyn." Y mae yr Hwn a drefnodd y groes wedi gofalu am roddi nerth yn ol y dydd i'w dwyn. Felly gwell fyddai siarad yn galonogol â'r crefyddwyr ieuainc: dangos y goron yn gystal â'r groes iddynt; dangos teyrnas Crist yn gystal â dirmyg Crist i'r rhai sydd newydd gychwyn ar eu

gyrfa ysbrydol. Dylid eu dysgu i fod yn llawen gyda y rhai sydd yn llawen, yn gystal ag wylo gyda y rhai sydd yn wylo; ac wrth eu calonogi yn barhâus fe anghwanegir eu ffydd i'r fath raddau, fel na syflir hwy o flaen rhuthr yr ystorm bryd bynag y daw.

4. *Cynghorer hwy i lynu wrth yr Arglwydd.* Dyna fel y gwnaeth Barnabas â dychweledigion ieuainc Antiochia, a thyna fel y dylid gwneyd eto. Nis gellir gosod gormod o bwys ar hyn yn bresennol. Y maent wedi proffesu cyffwrdd âg ymyl ei wisg Ef; a'r peth nesaf sydd yn eisieu yw peidio gollwng yr afael yn rhydd. Ac os nad yw y pwnc yma wedi dyfod yn un o brif bynciau'r dydd hyd yn hyn, y tebygolrwydd yw y bydd yn rhaid iddo ddyfod yn bur fuan, neu ynte fe fydd yn rhaid i eglwys Crist roddi fordd i ryw bethau eraill sydd am ennill y gamp arni. Pa faint o'n pobl ieuainc ni, sydd wedi eu magu ar aelwydydd crefyddol, ac ar fronau yr eglwys yn unigrwydd y wlad, lle nad oes ond prydferthwch y blodau, barddoniaeth y caeau, cerddoriaeth y goedwig a'r gornant, ynghyd a swynion tŷ Dduw, i ddenu eu bryd? Ond pan y mae mwyafrif y cyfryw yn symud i'r trefydd mawrion, y mae yna raiadrau o demtasiynau yn dyfod i'w cyfarfod, a hwythau, yn eu gwendid, yn rhoddi ffordd yn awr y brofedigaeth. Ac O mil anhawddach eu rhwystro i fyned rhagddynt ar y llithrigfa na'u cadw yn eu lle ar y cychwyn! Pa beth yw ein dyledswydd? Eu cynghori i lynu wrth yr Arglwydd; ac yna, beth bynag fydd eu hanes ar ol hyny, bydd dwylaw yr eglwys yn rhydd oddiwrth waed y gwrthgilwyr.

Ac nid eu cynghori i lynu yn rhyw lun, ond glynu "drwy lwyrfryd calon." Y mae yr ymadrodd yn gryf yn y ffarf yna arno; ond y mae yn gryfach fyth yn y Cyfieithiad Newydd. Glynu gydag amcan *(with a purpose)* sydd yno. Ac O beth mor ddiwerth yw crefyddwyr diamcan! Y maent fel cruglwyth o goed crinion, yn aros yr un fath o ran eu maintioli, ond yn gwaethygu bob dydd o ran eu cyflwr. Ond am grefyddwyr âg amcan ganddynt, y maent yn amcanu bod fel Iesu Grist, ac yn cynnyddu iddo Ef. Y mae eu ffydd yn cryfhâu, a'u cynnydd yn eglur i bawb.

5. *Rhodder digon o waith iddynt.* Nid oes dim sydd yn rhoddi mwy o nerth i'r dderwen ar y maes na'i bod bob blwyddyn o'r cychwyn yn cael brwydro â'r ystormydd. Y mae drwy hyny yn gyru ei gwreiddiau i'r dwfn, ac yn bachu am y graig. Felly yn union y mae gwaith yn effeithio ar y crefyddwyr ieuainc. Y mae yn peri eu bod yn gyru eu gwreiddiau i'r dwfn, ac yn bachu am Graig yr oesoedd. Wedi i'r tân sanctaidd gael ei gynneu ar yr allor gynt, y gorchymyn nesaf oedd i gadw'r tân yn fyw. Y mae proffes y dychweledigion ieuainc yn dywedyd fod y tân sanctaidd wedi ei gynneu ar allor eu calonau hwythau; a'r peth mwyaf effeithiol i gadw y tân yn fyw yw rhoi digon o waith iddynt: gwaith yn nghyfarfod y bobl ieuainc; gwaith yn y cyfarfod gweddi, yn yr eglwys, ac, yn bendifaddeu, yn yr Ysgol Sul. Cyfeirier eu meddyliau at fawrion a dyfnion bethau Duw yn yr Ysgrythyrau, ac adeilader eu ffydd ar bynciau mawrion sylfaenol y grefydd gristionogol. Y mae yr anghen am hyn yn cynnyddu bob dydd fel y mae *scepticism* yn cynnyddu. Y mae anffyddiaeth yn ymwthio i fewn i'n heglwysi ni drwy un drws, a gauffyddiaeth drwy y drws arall; ac yn wyneb hyn nid oes genym ond gofalu fod meddyliau y crefyddwyr ieuainc yn cael eu cadw mewn gwaith parhâus, drwy fyfyrio ar egwyddorion sylfaenol crefydd Crist—egwyddorion sydd wedi gwneyd anialwch y byd yn baradwys mewn cymhariaeth, egwyddorion sydd wedi dymchwelyd heresiau yr oesoedd, ac egwyddorion sydd o ran eu natur yn dragywyddol fel Duw ei hunan.

Credwn pe byddai i'r eglwys gael ei deffroi at ei dyledswydd yn y cyfeiriad hwn, a phe byddai i'r dychweledigion ieuainc wrandaw ar lais eu hathrawon fel y dylent, mai nid hir y byddai gwyneb y ddaear cyn dyfod yn debyg i wyneb y nef. Ysbryd Duw a baro mai felly y byddo, er mwyn Iesu Grist. Amen.

---

## MOESGARWCH.

*(Parhâd o tu dal. 210.)*

4. *Y mae moesgarwch yn teilyngu ein sylw arbenig pan fyddom mewn addoldŷ,* wrth ddyfod iddo, ac wrth fyned allan o hono, fel ymhob cynnulliad cyhoeddus,

megys cyngherdd, cyfarfod llenyddol, darlith, &c. Ond yn y cymydogaethau gwledig hyn, a'r pentrefi a'r llanau, ychydig mewn cymhariaeth yw nifer y rhai sydd yn meddwl dim am dano, er fod yr ychydig bethau sydd yn cyfansoddi ymddygiad da mewn cynnulleidfa yn gyfryw ag y gall pawb eu harfer. Peth cyffredin iawn, a pheth sydd yn ein poeni yn fawr, pan fyddom yn dygwydd bod mewn cyngherdd neu gyfarfod llenyddol, ydyw gwaith pobl yn y gynnulleidfa, a rhai o'r penaethiaid oddeutu'r pulpud neu'r llwyfan, yn sisial siarad â'u gilydd pan fydd rhywun yn canu iddynt. Y mae y côr, a mwy nag un o'r *amateurs*, wedi prynu y caneuon, rhoi eu hegni a'u hamser i'w dysgu, a cherdded rhai milldiroedd o ffordd, a rhoi eu gwasanaeth yn rhad i chwi, er mwyn i chwi gael arian at ryw achos; a phan fyddont yn sefyll i fyny i ganu, ceir mwy nag un *party* ymhlith y gwyddfodolion yn eu sarhâu, er nad yn fwriadol wrth gwrs, trwy siarad a chwedleua â'u gilydd nes y byddant wedi mwy na hanner fyned dros eu cân neu eu hanthem, a rhai ar y llwyfan yn gwibio yn ol a blaen, er trefnu beth sydd i fod nesaf. Ac onid yw hyn yn anfoesgarwch mawr iawn? bernwch chwi.

Hefyd, y mae moesgarwch mewn addoldŷ, meddaf, yn hawlio ein sylw, o barch i'r lle, o barch i'r bobl sydd yn y lle, ac o barch i Dduw y lle. Dylem gofio bob amser, pan mewn cynnulleidfa, nad oes genym mewn un modd hawl i aflonyddu ar heddwch a thawelwch y gynnulleidfa hono. Paham y rhaid i blant a phobl ruthro a thrystio cymaint wrth ddyfod i mewn a myned allan? a phaham y rhaid i rai gael aros oddeutu'r capel cyn dyfod i mewn ac ar ol dyfod allan? Nid yw y cwbl ond ffrwyth anystyriaeth, a diffyg moesgarwch. Dylai plant gael eu dysgu yn fore i fod yn ddifrifol a dystaw yn moddion gras. Dyma un man lle y daw yr addysg gartref i'r golwg, sef mewn cynnulleidfa. Ac ond i ddyn gael ei ddysgu i arfer moesgarwch pan yn blentyn, bydd yr arferiad hwn, fel rhyw arfer arall, yn glynu wrtho ar ol iddo dyfu i fyny. Yn ei ieuenctyd y mae dyn yn gosod i lawr sylfeini ei gymeriad dyfodol. Ac yr ydym o bryd i bryd yn cyfarfod â dynion wedi ffurfio arferion ffol a phlentynaidd, a rhai nodedig o adgas a gwrthun, pan yn blant, nad ydynt hyd heddyw wedi dyfod yn ddigon o ddynion i ymysgwyd oddiwrthynt, a'u taflu heibio. Ofnwn nad yw dysgu moesgarwch yn cael digon o le ar yr aelwyd, ac yn yr ysgolion dyddiol. Os ydyw, pa fodd na byddai yr effaith i'w ganfod mewn manau eraill? Pa reswm, pa synwyr, pa gysondeb, sydd yn ngwaith plant a phobl yn siarad â'u gilydd, a bod yn wamal ac ysgafn, mewn unrhyw wasanaeth crefyddol? Diffyg moesgarwch ac ystyriaeth, ac nid diffyg synwyr, ydyw yr achos o hyn. Ond pan welom rai yn parhâu yn yr anystyriaeth penrhydd hwn er dyweyd wrthynt lïaws o weithiau, yr ydym dan orfod i benderfynu fod yn rhaid fod yno ryw ddiffyg arall yn nês adref iddynt. Tra fyddo dyn yn pregethu, darllen, cynghori, neu esbonio, beth sydd yn fwy digalon iddo ef, a mwy anfoesgar a diystyr ynom ninnau, na'n gwaith yn gwneyd pob peth ond gwrando? Ymddengys i ni fod llawer yn anghofio, neu yn gwbl ddiystyr, o iawnderau pobl eraill pan mewn cynnulleidfa, gan eu bod trwy eu diffyg ymddygiad yn gwneyd eraill, mwy llednais eu teimladau, yn rhy anhapus i allu cael dim lles o'r pethau a draethir. Ceir rhai yn troseddu trwy droi dalenau y llyfr hymnau, y llyfr tônau, neu ryw lyfr arall, tra fyddo rhywun yn llefaru. Mae hyn yn beth pur anfoesgar, gan ei fod yn taflu diystyrwch hollol ar yr hyn fydd yn cael ei ddyweyd, a sarhâd ar yr hwn fydd yn llefaru. Mor fynych hefyd yr ydym yn gweled dynion yn dyfod i mewn i'r capel heb dynu eu hetiau. Dyna: dacw un dyn wedi pasio dwy, tair, ïe pedair eisteddle, cyn cofio fod ganddo het am ei ben, neu heb ystyried y dylasai ei thynu wrth y drws; a gwelsom fwy nag un yn ei gosod am ei ben cyn symud o'i le,—o'r sêdd fawr, o bosibl! Nid coelgrefydd, ond moesgarwch sydd yn dyweyd wrth bob mab am dynu ei het pan yn y drws yn dyfod i'r capel, a pheidio ei gosod am ei ben drachefn nes y bydd yn y drws yn myned allan.

Peth arall a ystyriwn yn anfoesgarwch mawr mewn cynnulleidfa ydyw y dull penuchel a thrystfawr y bydd rhai pobl yn pesychu, yn tisian, neu yn dylyfu gên. Rhaid pesychu weithiau pan wedi cael anwyd, ond gellir gwneyd hyny gyda llawer llai o drwst os bydd i'r un fydd yn gorfod pesychu roi ei ben i lawr, a'i gadach llogell ar ei enau. Ond y mae yn ffaith fod llawer iawn o besychu gwneyd yn cael ei gario ymlaen yn ein cynnulleidfäoedd, yr hyn sydd yn beth ynfyd a drwg, ac yn peri llawer o boen ac anhwylusdod i'r pregethwr ar y pryd. Clywch eto fel y mae y dyn acw yn tisian! Mae yn tisian mor uchel ac egnïol nes yr ydym yn cael ein hadgofio o'r adnod hono yn llyfr Job, "Wrth ei disian ef," y lefiathan, "y tywyna goleuni." Ond rhaid i ni ddyweyd am y dyn dan sylw, Wrth ei disian ef y mae tywyllwch yn teyrnasu, oblegid dyma ni wedi colli brawddeg o'r bregeth o achos y dyn a'i disian. Onid allasai efe disian yn ddystawach? Gallasai

yn hawdd pe buasai yn ceisio; ond nid yw hwn erioed wedi dysgu *manners*. Y mae Mari Morus yn eistedd yn un pen i'r capel, a minnau y pen arall; ond gallaf ei chlywed yn dylyfu gên o'r fan lle yr ydwyf. Ac y mae y bechgyn a'r genethod, rhai yn edrych o'u cwmpas, rhai yn chwerthin a siarad, a'r lleill yn cysgu. Mor anfoesgar! Mae y capeli a adeiledir neu a adgyweirir y blynyddoedd hyn ymron yn ddieithriad â'r eisteddleoedd ynddynt â'u cefnau at y drws; felly, mewn trefn i allu gweled a gwybod pwy sydd yn dyfod i mewn, rhaid i'r rhai sydd eisoes yn y capel droi eu penau cyn y gallant weled. Ac yr ydym wedi synu lawer gwaith, a blino hefyd o ran hyny, weled cymaint o hyn yn ein cynnulleidfäoedd, a hyny mewn manau ag y gallasem ddysgwyl gwell ac uwch moesau. Fel y mae, gellir gweled ugeiniau o wynebau â'u llygaid tua'r drws ar eich dyfodiad i mewn, ac edrychir a rhythir ar rywun dyeithr fel pe buasai wedi disgyn o Jupiter y bore hwnw. Dyna Mrs. E—— yn dechre pesychu: mae hi yn pesychu â'i holl egni, heb gymaint a rhoi ei phen i lawr, na rhoi ei chadach ar ei genau; ac, fel y mae gyda haid o wyddau, pan ddechreua un o honynt glebar ânt oll i glebar, felly pan ddechreuo un mewn cynnulleidfa besychu, aiff pawb i besychu ond y rhai sydd yn gwybod gwell moesau. Tra fyddom mewn addoldŷ, y mae moesgarwch yn dyweyd wrthym mai ein dyledswydd yw gwrando, gan nad pa cân lleied o flâs a ddichon fod genym ar y pethau a draethir yn ein clywedigaeth.

Dywedir yn lled gyffredin mai y pregethwyr ydyw y gwrandäwyr gwaelaf o bawb. Gwelsom ambell un yn gwrando fel y dylai pob dyn wrando—fel pechadur am ei fywyd, a hyny ar bregethwr gwaelach nag ef ei hun. Ond gwelsom ambell un arall yn gwrando ar bregethwr *gwell* nag ef ei hun fel pe na buasai yn clywed dim, nac yn credu dim o'r pethau a draethid; a dichon nad oedd, ychwaith, o ran hyny. Nid yn unig y mae peidio gwrando yn drosedd, ond y mae gwneyd rhai pethau, megys crafu pen, pigo y trwyn, y clustiau a'r ewinedd, gwthio y dwylaw i'r llogellau, &c., yn drosedd enbyd, amlwg mewn cynnulleidfa. Yn wir, yr ydym yn tynu ymhell ar ol mewn moesgarwch cymdeithasol, ac y mae rhyw nifer felly yn nosbarth neillduol y Parchedigion yn anad neb. Credwn y dylai eu gwragedd roddi gwers iddynt ar hyn yn awr a phryd arall. Ond gan nad ydyw pob un o honynt hwy, o bosibl, mwy na rhyw ddosbarth arall o ddynion, wedi cyfarfod â'r ddysgeidiaeth hon yn eu rhan oreu, a chan fod lliaws o honynt heb fod mor ffortunus a chael un o gwbl, hyderwn yn fawr y cymer y rhai y perthyn iddynt wers oddiwrth hyn, sydd yn caru llwyddiant eu gwlad a'u cenedl, yn boliticaidd, yn foesol, a chrefyddol, trwy gyfrwng y sylwadau syml a dirodres hyn, a hyny yn yr un ysbryd caredig ag y maent yn cael eu hysgrifenu. Rai blynyddoedd yn ol, mewn lle heb fod yn gan' milldir o'r fan lle yr wyf yn byw, yr oedd dau ŵr dyeithr yn cynnal cyfarfod pregethu. Yr oedd yr addoldŷ yn orlawn o bobl o wahanol drâs, gradd, sefyllfa, a pharthau o'r wlad. Cafwyd pregeth gampus gan y pregethwr cyntaf, yr hwn oedd ddyn ieuanc dibriod ar y pryd, ac yn weinidog yn un o drefi mawrion mwyaf ffasiynol Lloegr. Disgynodd hwn o'r pulpud, ac esgynodd y llall i'w le; ond gwaith y cyntaf tra yr oedd yr ail yn pregethu ydoedd ymhyfrydu yn yr arferiad adgas o bigo ei drwyn! Yr oedd ei weled yn gwneyd hyny o flaen cynnulleidfa fawr a pharchus, ac yntau yn ddyn ieuanc sengl, yn bregethwr, ac yn dyfod o dref ag y mae genym feddwl uchel o honi hi a'i thrigolion, yn ddigon i osod ein calon yn ei erbyn am byth. Os ydyw y brawd hwnw wedi cael gwraig erbyn hyn, gobeithiwn ei bod wedi bod yn ddigon llygadog a miniog i dori ymaith yr arferiad wrthwyneblyd hon, ac eraill o'r un natur a hi, allan o hono. Ond credwn mai ychydig iawn yw nifer y cyfryw rai difoes, oblegid y mae un o'r fath yn ddigon mewn oes, a dyweyd y lleiaf. Nid yw o un gwahaniaeth pa mor fynyddig ac anghysbell y dichon i gymydogaeth fod, na pha mor fechan a syml y gynnulleidfa, nid oes yr un ardal mor anghysbell, na chynnulleidfa mor fechan, nad all fod yno, o ran dim a wyddoch chwi, gyfeillion, rai boneddigion o chwaeth, arferion, gwaedoliaeth, a dygiad i fyny—rhai yn *refined by nature*.

Onid yw ein Harglwydd Iesu Grist yn esiampl i ni yn hyn, fel ymhob peth arall? Mor addfwyn, mor lednais, mor foneddigaidd, ydoedd efe. "Corsen ysig nis tyr, a llin yn mygu nis diffydd." Onid "gwefus bur" oedd ei wefus sanctaidd ef! Onid bywyd pur oedd ei fywyd ef! Mor ddilychwin, mor ddifai, oedd ei gymeriad prydferth! Mor bur, mor sanctaidd, mor syml a grasusol ei eiriau! Yr ydym yn sicr na ddywedodd efe erioed yr un ystori isel i gywilyddio neb, na chwedl ffol i beri i rai cherthin yn ynfyd. Yr ydym yn sicr hefyd na ddarfu iddo erioed sarhâu neb, mab neu ferch, trwy air nac ymddygiad annheilwng. Llawer o sarhâd a gwaradwydd a oddefodd efe, ond yr oedd bob amser yn "ateb yn llariaidd." "Pan ei difenwyd, ni ddifenwodd drachefn." Os un fel hyn oedd ein Crist ni, oni ddylem ninnau, gristionogion, ymdrechu ymdebygu iddo ymhob peth? Yr ydym

yn adnabod rhai ag y mae gan ein henaid y parch dyfnaf iddynt fel dynion ac fel cristionogion. A dichon hefyd ein bod wedi bod yn adnabod rhai ag y mae genym yr awr hon gywilydd o'r adnabyddiaeth hono. Ond yr ydym yn awr ac eilwaith yn cyfarfod âg aml un ymhlith y brodyr a'r chwïorydd, ag y credwn eu bod yn dwyn y ddelw anwyl hono; ac mor hawddgar ydynt! Fel y mae ein calon yn gwresogi wrth wrando ar eu hymadroddion! Y fath wynfyd yw bod yn eu cwmni! Y mae yn gyfryw hapusrwydd nefolaidd nes y mae y cwbl yn ymddangos megys breuddwyd; ac eto nid breuddwyd yw; oblegid y mae y neb sydd yn dwyn ei holl ragoriaethau a'i holl gyrhaeddiadau dan deyrnged i gariad Crist yn yr efengyl, yn brydferth mewn gwirionedd. "Efe a brydfertha y rhai llednais â'i iachawdwriaeth." Yr ydym yn edrych arno, yn gwrando arno, yn ei fawrhâu, yn ei edmygu, yn *dotio* ato, ac yn ei garu. Paham? Y mae yn synwyrol, yn rhinweddol, ac yn foneddigaidd; ydyw! ac y mae duwioldeb fel coron o aur plethedig yn ben ar y cwbl. Y mae fel llong fawr ardderchog, llwythog o emau a pherlau, wedi dyfod adref o bell, yn gorwedd yn y porthladd. O'r ochr arall, er ei fod yn bobpeth y dymunid iddo fod, os yn amddifad o dduwioldeb, yr ydym er y cwbl yn gorfod teimlo fod rhywbeth yn eisieu. Pe yn feddiannol ar bob rhagoriaeth arall, ac yn ddiffygiol yn hyn, y mae fel llong brydferth heb hwyl, fel tŷ ysplenydd heb dô, neu fel offeryn cerdd heb dannau. Ac yn ngoleuni byd arall, bydd y cwbl yn ein gadael yn brudd a siomedig, a'n holl obeithion yn diflanu ac yn toddi ymaith fel breuddwydion nos a niwl y bore.

JANE BUCKLEY.

*Penygraig.*

---

## MEDDWDOD: EI ACHOSION A'I GANLYNIADAU.

*Gan y Parch.* JOHN OWEN, *Bettws y Coed.*

DEUTERONOMIUM xxix. 18, 19, 20: "Rhag bod yn eich mysg ŵr neu wraig, neu deulu, neu lwyth, yr hwn y try ei galon heddyw oddiwrth yr Arglwydd ein Duw, i fyned i wasanaethu duwiau y cenedloedd hyn; rhag bod yn eich mysg wreiddyn yn dwyn gwenwyn a wermod; a bod, pan glywo efe eiriau y felldith hon, ymfendithio o hono yn ei galon ei hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon, i chwanegu meddwdod at syched. Ni fyn yr Arglwydd faddeu iddo; canys yna y myga digllonedd yr Arglwydd a'i eiddigedd yn erbyn y gŵr hwnw; a'r holl felldithion sydd ysgrifenedig yn y llyfr hwn a orwedd arno ef, a'r Arglwydd a ddilea ei enw ef odditan y nefoedd."

MAE y geiriau pwysig hyn wedi eu llefaru gan Moses, gŵr Duw, a hyny yn y flwyddyn olaf o bererindod yr Israel yn yr anialwch. Yr oedd y genedl erbyn hyn wedi dyfod i rosydd Moab, a bron a chyrhaedd pen y daith. A phan yr oeddynt ar fyned i'r Canaan ddaearol, ac yntau i'r Canaan nefol, cawn Moses yn y llyfr dyddorol hwn yn rhoddi ailadroddiad manwl iddynt o'r gyfraith, ac yn adnewyddu y cyfammod a wnaed rhwng Duw â'i bobl wrth odre mynydd Sinai. A gallwn edrych ar y llyfr fel ei gynnysgaeth a'i lythyr cymun diweddaf, yr hwn sydd yn llawn o'r perlau mwyaf gwerthfawr. "Dyma y cyfammod a orchymynodd yr Arglwydd wrth Moses ei wneuthur â meibion Israel yn nhir Moab, heblaw y cyfammod a ammododd efe â hwynt yn Horeb." Wrth gyfammod yma yr ydym yn deall gwaith Duw yn rhoddi ei hunan i'w bobl ar ryw deleran neillduol; a'r teleran hyny ydoedd rhoddi ufudd-dod i'r gyfraith. Nid ydym i feddwl fod y cyfammod hwn yn wahanol i gyfammod Horeb; oblegid yr un yw yr ammodau, a'r un yw yr addewidion; yr un yw y pleidiau, sef Duw a'i bobl; a'r un yw y cyfryngwr, sef Moses. Yr oll gan hyny a wnaethpwyd yn nhir Moab oedd adnewyddu yr hen gyfammod. Ac y mae Moses ymhellach yn eu hadgoffa am yr hen waredigaeth a gawsant, a'r hen fendithion a dderbyniasant: y waredigaeth o'r Aipht a thrwy y Môr Coch, y manna o'r nefoedd, a'r dwfr o'r graig. Ac y mae efe yn gwneyd hyn i gyd i'r amcan o'u cymhell yn ddifrifol cyn ei ymadawiad i roddi ufudd-dod i'r cyfammod. Fel ambell i dad tyner a gofalus, nid oedd Moses byth yn blino myned dros yr un cynghorion drachefn a thrachefn. Ac er mwyn gwneuthur hyny yn fwy effeithiol, cawn efe nid yn unig yn eu hadgoffa am yr hyn a aeth heibio, ond hefyd yn rhoddi addewidion yn ymestyn i'r dyfodol hyd eithaf eu hufudd-dod i'r cyfammod. Y fath yw y duedd sydd mewn dyn i wisgo ymaith bob argraff grefyddol, fel er cymaint o arwyddion a rhyfeddodau yr oedd y genedl hon wedi bod yn llygad-dystion o honynt—er mor fanwl oedd eu dysgyblaeth wedi bod yn yr anialwch, ac er iddynt fod yn wrthddrychau cymaint o ddaioni a gofal Duw tuag atynt—fod yn rhaid adnewyddu y cyfammod â hwynt drachefn cyn eu myned i wlad yr addewid. Gallesid meddwl pe buasai hyn yn afreidiol i rywrai, mai dyma'r bobl. Pa faint mwy anghenrheidiol gan hyny ydyw i ni ddyfod at ein gilydd yn gyson a pharhâus i wrando deddfau a barnedigaethau Duw?

"Yr ydych chwi oll," medd Moses, "yn sefyll heddyw ger bron yr Arglwydd eich Duw," pob oedran, pob gradd, a phob sefyllfa, "i fyned o honot dan gyfammod

yr Arglwydd dy Dduw, a than ei gyngrair ef, i'th sicrhâu heddyw yn bobl iddo ei hun, ac i fod o hono yntau yn Dduw i tithau, megys y llefarodd wrthyt, ac fel y tyngodd wrth dy dadau; wrth Abraham, wrth Isaac, ac wrth Jacob." Nid am nad oedd gan Dduw hawl wreiddiol arnynt, ac nid am nad oedd efe wedi eu prynu yn ddigon drud, y mae yn ymostwng i fyned i gyfammod â hwynt, ond am nad oedd dim yn ormod ganddo ei wneuthur er mwyn ennill eu serch, a'u cadw rhag myned ar gyfeiliorn. Ac nid oedd neb a allasai wybod yn well na'r genedl hon pa beth oedd cael Duw yn Dduw iddi: "Yr hwn," medd yr hanesydd, "a'u dygodd megys ar adenydd eryrod, heb heneiddio eu dillad am danynt, na heneiddio eu hesgidiau am eu traed." "Ac nid â chwi yn unig yr ydwyf fi yn gwneuthur y cyfammod hwn a'r cynghrair yma, ond â'r hwn sydd gyda ni yn sefyll heddyw ger bron yr Arglwydd ein Duw, ac â'r hwn nid yw yma gyda ni heddyw;" ac yn ol y testun Caldeaidd, "â phob cenedlaeth o ddechreuad y byd hyd yn awr, ac â phob cenedlaeth hyd ddiwedd amser." Nid oes neb mewn un wlad nac oes yn barod i gysegru ei hunan i Dduw, nad yw yntau yn barod, ac yn anfeidrol barotach i fyned i gyfammod a chynghrair âg ef. A dyma yr amcan o adnewyddu y cyfammod: "Rhag bod yn eich plith ŵr, neu wraig, neu deulu, neu lwyth, yr hwn y try ei galon heddyw oddiwrth yr Arglwydd ein Duw i fyned i wasaethu duwiau y cenedloedd hyn;" rhag, wedi eu myned i wlad yr addewid, iddynt anghofio Duw yr anialwch. Mae yn ofnus fod llawer eto yn rhy barod i anghofio Duw mewn iechyd a hawddfyd, er iddynt wneyd cyfammod âg ef mewn cystudd. "A rhag bod yn eich plith wreiddyn yn dwyn gwenwyn a wermod;" rhag bod neb trwy esiampl ddrwg yn llygru eraill; "a bod pan glywo efe eiriau y felldith hon ymfendithio o hono yn ei galon ei hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon, i chwanegu meddwdod at syched." Mae y dyn yn ymwybodol mai yn nghyndynrwydd ei galon y mae efe yn rhodio, ac eto mae yn rhyw obeithio mai heddwch fydd diwedd y daith wedi y cwbl. Mae Duw yn ei Air yn cyhoeddi melldithion uwch ben y meddwyn; ond mae dyn trwy dwyll pechod yn gallu esbonio y felldith yn fendith iddo ei hun: "Heddwch fydd i mi."

Yr hyn a gaiff ein sylw ymhellach yw *ychydig ar yr achosion sydd i feddwdod yn y byd, ac ar ei ganlyniadau difrifol.*

Yn y lle *cyntaf*, ceisiwn edrych ar rai o'r *achosion* sydd i feddwdod.

Yn un peth gwaith y galon *yn anghofio Duw.* "Rhag bod yn eich plith ŵr neu wraig neu deulu neu lwyth,"—nid oes neb allan o'r perygl, "yr hwn y try ei galon heddyw oddiwrth yr Arglwydd ein Duw i fyned i wasanaethu duwiau y cenedloedd hyn, ac i chwanegu meddwdod at syched." Hyn ydyw gwreiddyn y pren sydd yn dwyn cymaint o ffrwyth gwenwynig yn ein plith, yn nythu cynifer o adar aflan yn ei gangenau, yn gwasgaru y fath arogl afiachus a halogedig yn awyr foesol y byd, ac yn denu cymaint o lofruddion a hunanleiddiaid i ymlochesu dan ei gysgod; dyma, meddwn, ydyw y gwreiddyn: gwaith y galon, er pob rhybudd a bygythiad, yn anghofio Duw. Oni buasai am yr annuwiaeth ofnadwy sydd yn y byd, buasai meddwdod wedi diflanu er ys llawer dydd. Tra bydd Duw yn y galon, mae yn anmhosibl i feddwdod gael lle i roddi ei droed i lawr; tra bydd sylweddau tragywyddol y byd a ddaw yn llenwi y fynwes, mae yn annichonadwy i anghymedroldeb gael drws agored; a thra bydd genym archwaeth a blas ar bethau ysbrydol, ni bydd dim llawer o swyn yn y cwpaneidiau meddwol. Dim ond i ni ddechre yfed yn lled helaeth o ffynnonau iachawdwriaeth, fe gyll y ddiod gadarn ei hudoliaeth. "Ni ellwch wasanaethu Duw a mammon." Pan gymerwyd Paul i fyny i ogoniant, yr oedd pob peth fel wedi newid eu gwedd yn ei olwg o hyny allan. "Yr wyf," meddai, "yn cyfrif pobpeth yn dom ac yn golled er mwyn ennill Crist." Ac felly am danom ninnau: dim ond i ni ddechre rhodio yn llwybrau crefydd, a thrwy hyny gael golwg ar Rosyn Saron a Lili y Dyffrynoedd, ni bydd nemawr berygl i ni gael ein hudo gan afalau Sodom i groesffyrdd diotta ac anghymedroldeb. Meithrinwn fyfyrdod dyfal am y Duw byw, a gallwn ddyweyd gyda golwg ar Bacchus, "Nid oes iddo ddim ynof fi." Yfwn yn ddibrin o'r afon ddysglaer ag sydd yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen, ac fe ddaw ein chwaeth yn rhy bur o lawer i allu sugno o gorsydd lleidiog pechod a llygredigaeth.

Achos arall o feddwdod ydyw *twyll pechod:* dyn yn gweniaithio iddo ei hun nes cael ei anwiredd yn adgas. "A bod, pan glywo efe eiriau y felldith hon, ymfendithio o hono yn ei galon ei hun, gan ddywedyd, Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon, i chwanegu meddwdod at syched." Gwelwn fod yr annuwiol yn sylfaenu ei holl obaith ar y dybiaeth ryfygus fod Duw yn dywedyd celwydd—fod cyfiawnder yr un peth âg anghyfiawnder—melldith yr un peth a bendith, ac ar y dysgwyliad ynfyd fod dyn yn gwybod yn well na'r Hollwybodol; oblegid mae Duw, ac mae profiad dynolryw am ganrifoedd yn cyd-dystiolaethu,

mai melldith a dinystr sydd yn aros yr annuwiol â'r cyndyn. Ond wele y meddwyn yn beiddio dyweyd yn eu gwyneb i gyd, "Heddwch fydd i mi, er i mi rodio yn nghyndynrwydd fy nghalon." Deued yr ystormydd o'r màn y delont; bygythied cyfiawnder, melldithied y gyfraith, llosged y ddaear, ac eled y bydoedd ar dân, "Heddwch fydd i mi." Nid yn unig nid oes dim yn debyg i feddwdod am anfon dyn i wyneb peryglon, nid oes ychwaith ddim yn debyg am ei wneyd yn ddall i'w beryglon. Mae yr oen yn cymeryd ei arwain i'r lladdfa mor dawel ac mor lariaidd â phe byddai yn cael ei dywys i'r porfeydd mwyaf gwelltog. Ac felly am y meddwyn, mae yntau yn cymeryd ei arwain gan ei chwant i ddinystr a cholledigaeth bythol mor rhwydd ac mor ddiwrthwynebiad â phe byddai i derfynu ei yrfa yn nghanol Paradwys Duw. Dywedir fod rhyw fath o glefyd peryglus yn ffynu weithiau yn yr India ag sydd yn peri i'r rhai fyddo yn ei afael weled y môr yn ymddangos fel dyffryn gwyrddlas, yn ymestyn yn anfesurol ar bob llaw; a bydd yn rhaid i'r dyn er gwaethaf pawb gael ymdaflu i'w ganol. Ac felly y gellir dyweyd gyda golwg ar y meddwyn. Mae Ysbrydoliaeth Ddwyfol yn dangos yn ddigon eglur a diammwys mai tragywyddoldeb o wae sydd yn aros yr annuwiol. Ond mae twyll pechod yn gallu lliwio y fath ragolygon tywyll, a hyny fel ag i ymddangos fel paradwys annherfynol, ac mae'n rhaid i'r dyn, er pob rhybudd a bygythiad, gael anturio i'w ddyfnderoedd. Heddwch fydd i mi! Yr ydym yn cael am y *panther* mai y ffordd sydd ganddo ef i ddal ysglyfaeth ydyw trwy guddio ei ben ecthin o'r golwg; a chan fod y rhan arall o'i gorff mor brydferth, bydd yr anifeiliaid diniwed yn cael eu swyno gymaint ganddo nes yn y diwedd fyned yn ysglyfaeth i'w wanc a'i gynddaredd. Yr un modd am y bwystfil creulawn a elwir anghymedroldeb. Yr achos ei fod yn llwyddo i gael cynifer o ieuenctyd difeddwl ein gwlad i'w gafaelgau dinystriol ydyw fod twyll pechod yn taflu ei fantell dros ei ben, fel nad oes ond megys rhan yn y golwg, oblegid, "Yn y diwedd efe a frath fel y sarph, ac a biga fel y neidr."

Achos arall o feddwdod ydyw *fod dyn o herwydd camgymeryd y ffordd yn methu diwallu ei natur:* "Chwanegu meddwdod at syched," a syched at feddwdod. Er cymaint o bydewau y mae dyfeisiau dynol wedi eu cloddio er pan y gadawsant ffynnon y dyfroedd byw, nid oes yr un ffynnon wedi ei hagor a ddichon dori syched pechadur am bleser ond y ffynnon a agorodd Duw ei hunan. Ceisio tori ei syched am bleser y mae'r meddwyn wrth fyned at y cwpan; ond yn lle hyny mae y syched yn myned yn gryfach, ac yn fwy arteithiol yn barhâus. Mae dyn yn greadur rhy fawr i gymeryd ei ddiwallu trwy feddwdod. Mae yr enaid wedi ei greu ar gyfer Duw fel gwrthddrych pleser; ac nid rhyfedd gan hyny fod pobpeth arall yn rhy fychan i lanw ei ddymuniadau. Gall y cwpaneidiau meddwol wasanaethu fel diod gwsg i'r gydwybod; ac y mae llawer trwy hyny yn llwyddo i ddystewi ei tharanau am enyd. Ond cwsg sarph mewn mynwes ydyw tawelwch cydwybod euog ar y goreu. Ac ni fydd goleuni tanbaid y byd a ddaw yn hir yn deffroi y gydwybod fwyaf cysglyd. Nid yw gwaith dyn yn ceisio diwallu ei enaid trwy bleserau gau yn gwneyd dim ond gwasanaethu tuag at i'r siomedigaeth fod yn llymach ac yn fwy anhawdd ei dwyn yn y pen draw. Bydd yr awydd am gyfeillion, ac am bleser, mor fywiog ag erioed yn mynwes y meddwyn hyd yn nôd tu draw i'r gagendor. Yr oedd y gŵr goludog hwnw gynt wedi cael cymaint o fantais â neb i ddiwallu ei natur trwy bleserau y cnawd; ond bu gorfod iddo deimlo, er ei dragywyddol gosbedigaeth, nad oedd dim cymhwysder yn y pethau hyny i ateb y dyben. Mae un o'r chwedlau Groegaidd yn sôn am frenin cyfoethog o'r enw Tantalus, yr hwn am gyflawni rhyw drosedd a ddyfarnwyd i gosbedigaeth arswydus. Ar ol ei farwolaeth, medd yr hanes, tarawyd ef gan syched tost, a'r un pryd gosodwyd ef mewn llyn o ddwfr. Ond pan fyddai efe yn angerddoldeb ei syched yn ceisio yfed y dwfr llifai o'i gyrhaedd yn hollol. A'r un modd yr oedd cangenau ffrwythlawn yn hongian yn ei olwg, y rhai a ddiangent o'i gyrhaedd pan y byddai efe yn estyn ei law tuag atynt. Ac yr oedd hefyd graig anferth yn crogi uwch ei ben ac yn bygwth ei ddinystrio ar bob eiliad. A chan nad pa ymdrech a wnelai y brenin i dori ei syched, i leddfu ei newyn, ac ymlid ei ofnau, yr oedd pobpeth yn aneffeithiol. Felly am y meddwyn: mae ei ymadawiad â Duw wedi gadael y fath syched yn ei enaid fel y mae hyd yn nôd ocheneidiau llwythog y wraig, llefau torcalonus y plant, a tharanau cydwybod euog, i gyd yn rhy weiniaid i ysgaru rhyngddo â gwrthddrych ei chwant. Ond mae gwir bleser, fel y dwfr yn y llyn, ac fel y ffrwyth melus ar y cangau yn cilio ymhellach o'i gyrhaedd yn wastadol; ac, heblaw hyn i gyd, mae digofaint Dwyfol fel craig ddigofus yn crogi uwch ei ben, ac yn bygwth ei suddo i ddinystr bythol ar bob moment. "Oni ddychwel yr annuwiol efe a hoga ei gleddyf. O herwydd bod digofaint, gochel rhag iddo dy gymeryd ymaith â'i ddyrnod." Ond y fynyd gyntaf y daw y pechadur at Dduw, er nad yw ei awydd am bleser yn myned

yn llai, eto mae yr awydd yn cyfarfod â'i wrthddrych; mae'r dymuniadau yn cael eu llenwi. Ac mae hwn yn bleser na raid i ni ddim ofni i chwerwder ddyfod ar ei ol.

Yn nesaf sylwn ar *ei ganlyniadau difrifol ac alaethus*, sef llygru y rhai sydd o'n hamgylch, ynghyd a dinystrio y dyn ei hunan am amser ac am byth; ei ddinystrio yn ei gymeriad, yn ei amgylchiadau, yn ei obeithion, ac yn ei gysuron personol a theuluaidd. "Rhag bod yn eich mysg wreiddyn yn dwyn gwenwyn a wermod." Peth felly ydyw meddwdod—gwreiddyn yn dwyn gwenwyn a wermod, ïe, digon o wenwyn i ladd miloedd ar filoedd o'n cyd-ddynion bob blwyddyn. Mae bron yn anmhosibl i rinwedd a moesoldeb dyfu yn ei gyffiniau. Dyma wermod ag y mae tyrfa ddirif o famau tyner-galon a phlant diniwed wedi bod yn dystion o'i chwerwder; ac mae llu yn y dyddiau hyn yn gorfod yfed yn helaeth o'i gwaddod bob dydd. Mae yr afon Llugwy yn llifo heibio i'r man yr ydym ni yn preswylio, ac ar brydiau bydd dwfr lleidiog o'r gweithfeydd mŵn yn y gymydogaeth yn cael ei ollwng i redeg iddi, nes dinystrio pob bywyd o'i mewn am filldiroedd lawer. Ac felly mae yn rhaid i ni ddyweyd am y fasnach feddwol—afon wenwynig ydyw, sydd yn gwasgar afiechyd a marwolaeth ymhob cyfeiriad, ac i bawb a phobpeth a gyfranogant o'i dyfroedd. Pwy erioed a glywodd am ardal neu wlad yn enwog am ei chrefydd a'i moesoldeb os byddai meddwdod yn uchel ei ben ynddi? Pa sail sydd gan neb i ddysgwyl gweled y plant yn tyfu i fyny mewn duwioldeb ac ofn Duw os bydd y tad neu y fam yn ymyraeth â'r diodydd meddwol? Mae ambell i blanigyn mor dyfadwy a chynnyrchiol, fel na raid ond ei blanu mewn un cŵr o'r ardd, a cheir ei weled cyn hir yn codi ei ben ac yn gwneyd ei ymddangosiad trwy yr ardd i gyd. Yr un modd am yr arferiad beryglus hon: os bydd y rhieni yn ymwneyd â'r ddiod gadarn, odid fawr na welir yr un pechod damniol yn codi ei ben ac yn gwneyd ei ymddangosiad yn mywyd ac ymarweddiad y plant. Os bydd un cyfaill yn arfer myned i'r dafarn, un o fil na welir y llall cyn hir yn ei efelychu. Yr oedd yr hynafiaid yn credu pe daethent o hyd i'r hyn a elwid yn gareg yr athronydd, y gallasent gyda hono droi pobpeth yn aur. Wel, dyma ydyw careg yr athronydd yr oes hon, gyda pha un y mae'r diafol yn gallu troi pobpeth yn bechod; dim ond i feddwdod ddyfod i'r teulu, mae yr allor deuluaidd yn cael ei throi yn ford y cythreuliaid—mae yr ystafell ddirgel yn myned yn anghyfannedd, heb neb yn ei cheisio—mae sŵn addoli a moliannu Duw yn cael ei droi yn felldithion ac yn rhegfeydd—ac y mae dyfodiad y tad, ag oedd o'r blaen fel codiad haul y bore i'r teulu, erbyn hyn yn cael ei deimlo gan lawer mynwes dyner yn ein gwlad yn nemawr amgen na swn cerddediad brenin y dychryniadau. Felly os dymunir cael dedwyddwch yn y cylch teuluaidd, rhaid cau y drws yn erbyn meddwdod ac anghymedroldeb.

Effaith arall ydyw dinystrio y dyn ei hunan am amser a byth, canys "ni fyn yr Arglwydd faddeu iddo." Neu, a darllen yn nês i'r gwreiddiol, "Ni fyn yr Arglwydd ei arbed ef. Canys yna y myga digllonedd yr Arglwydd yn erbyn y gwr hwnw." Yr oedd hyn yn ddigon i lethu enaid y dyn â'r Duwdod ynddo yn trigo: "Yr Hwn nid arbedodd ei briod Fab." Dyma yr esboniad ar chwys gwaedlyd yr ardd, y cefn briwedig, y dwylaw gwaedlyd, yr ystlys archolledig, a dyma yr esboniad ar fwg poenedigaeth y colledigion: "Ni fyn yr Arglwydd ei arbed ef." Yr oedd cynnwysiad y frawddeg hon yn ddigon i foddi y byd â diluw, yn ddigon i losgi dinasoedd y gwastadedd â thân, yn ddigon i beri i'r ddaear agor ei safn i lyncu Corah, Dathan, ac Abiram yn fyw i uffern; a bydd hyn yn ddigon i beri i'r annuwiol gasglu parddu yn yr adgyfodiad. Gwareded y nefoedd ni rhag gwybod am dani! Trugaredd sydd wedi bod hyd yma yn goron ar dy ben, yn llawenydd yn dy galon, yn wrid ar dy ruddiau, yn nerth yn dy fraich, ac yn gysgod diddos uwch dy ben; ond os parhâi yn gyndyn, bydd trugaredd yn gorfod dy roi i fyny mewn anobaith i ddwylaw cyfiawnder. "A'r Arglwydd a ddilea ei enw ef odditan y nefoedd;" hyny yw, mewn geiriau eraill, fe ddaw Duw ei hun i wneyd dy le yn wag yn y dafarn cyn bo hir. Daw yr Hollalluog i roddi sêl dragywyddol ar dy wefusau ar fyrder. Ond pan fydd dy gyfeillion wedi dy anghofio, dagrau dy berthynasau wedi eu sychu, ac ocheneidiau dy blant wedi dystewi yn angeu, ni byddi di wedi anghofio dy hun; ni bydd dy ddagrau wedi peidio rhedeg, na'th ocheneidiau di, feddwyn druan, yn ddim llai. Na, bydd yr enaid mor fyw i deimlo ag erioed pan fydd y gwpan feddwol wedi ei chyfnewid am win digofaint, y grechwen ffol yn y dafarn wedi ei throi yn wylofain a rhincian dannedd.

Ond mae yn dda genym feddwl fod Duw yn barod i fyned i gyfammod â'r meddwyn heddyw. Ac os mai bod yn llwyrymwrthodwr ydyw y ffordd fwyaf diogel i beidio myned yn feddwyn, nis gallwn weled nad yw y nefoedd yn ein dal yn gyfrifol am beidio bod. Ac felly, yn enw gogoniant Duw, yn enw lleshâd yr eglwys, yn enw dy gysur teuluaidd, ac yn enw dy ddedwyddwch tragywyddol, y dymunwn

ddadgan yn ngeiriau Ysbrydoliaeth Ddwyfol, "O herwydd paham, deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan; ac mi a'ch derbyniaf chwi, ac a fyddaf yn Dad i chwi, a chwithau a fyddwch yn feibion ac yn ferched i mi, medd yr Arglwydd Hollalluog." Amen.

## Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

### ARCHOLLION GWEINIDOG.

*(Parhâd o tu dal. 212.)*

Cyn bod yr ysgyfaint ond prin ddechre chwareu yn rhydd, wedi yr hir attaliad a achosid gan y sylw astud a dalem i'r hanes hon, deuai y chwedl ofidus ganlynol, fel cenadon trallodus Job, yn dilyn sodlau eu gilydd:—

Yr archoll agored hwn ar y llaw ddehau," medd y gŵr, "a dderbyniwyd oddiwrth deulu, y rhai yn y rhan flaenaf o weinidogaeth y bugail, oeddynt yn gyfeillion serchog ac ymroddgar iawn i'r eglwys. Y pryd hwnw, er eu bod yn gyfrifol, nid oeddynt yn gyfoethog na choegwych; ond yr oeddynt mewn amgylchiadau cysurus; ac yn gyfatebol i hyny, cyfranent o'u meddiannau at bob achos da. Trwy gyfnewidiadau yn y gymydogaeth, cynnyddodd eu masnach yn ddirfawr, trwy yr hyn y daethant yn gyfoethog iawn yn gyflym,—mewn gair, yr oedd pob peth yn eu ffafrio: a mynych y byddai y bugail gofalus, yr hwn a dderbynid ganddynt gyda'r parch a'r serchogrwydd cristionogol mwyaf, yn eu hadgofio o'r rhybudd ysbrydoledig, "Pan gynnyddo golud, na roddwch eich calon arno." Nid ymddangosai ar y cyntaf fod mammon yn cael rhyw ddylanwad mawr arnynt; ond fel y tyfai y teulu i fyny, daeth cyfnewidiad galarus dros y cylch hwn, a fuasai mor grefyddol hyd hyn; canys wedi i'r merched ddychwelyd o'r *boarding school* ffasiynol, nis gallent mwyach fwynhâu dullweddau ac ymarferiadau cartref: gan hyny yn raddol, cafodd yr awyrgylch hwnw, a fuasai mor iachus i lesion crefyddol y rhieni, ei llygru trwy foesffurfiau eithafol a defodaeth; ac nid oedd y cylch cymdeithasol newydd a ffurfiasai yr ieuenctyd hyn yn cynnwys y rhai a ymgrymant yn y dirgel i gymdeithasu â'r Goruchaf; ond yr oeddynt ymysg rhai blaenaf y corelwestau, y chwareudai, a'r cyffelyb gynnulliadau gwageddol. Goddefid i'r merched hyn fynychu y cyfryw gyfarfodydd; ac fel addaledigaeth, ffynent gyda'u tad a'u mam i wahodd y cyfeillion hyny i gynnulliadau cyffelyb yn eu tŷ. Nis gallasai y cydffurfiad galarus yma â'r byd fod yn gyson âg arferion dyddiau dysgleiriach, am eu bod yn fwy ysbrydol. Y canlyniad ydoedd i lacrwydd cnawdol ddylanwadu ar yr holl gylch, a bod y chwennychiadau pur am 'y manna cuddiedig' yn adfeilio, tra mai prin yr oedd rhith duwioldeb yn aros yn lle ei grym hi. Fel y gellid dysgwyl, nid oedd y boneddigesau hyn yn cael blâs ar weinidogaeth ffyddlawn y bugail a fuasai unwaith mor hoff gan eu rhieni; ac ni phetrusent ddadgan eu hanghymeradwyaeth o wasanaeth y capel, yn enwedig gan fod eu cymdeithion boneddigaidd hwy yn myned i'r eglwys. Yr oedd y rhieni hefyd wedi dyfod yn anesmwyth, o herwydd bod appeliadau cyffrôus yn deffroi ymwybyddiaeth chwerw o'u mewn o'u bod wedi ymadael â'u cariad cyntaf. Yn lle ymwrando fel y dylasent ar y cynhyrfiadau enaid hyny, hwy a gydsyniasant yn hytrach â chymhelliadau mwy cnawdol eu plant. Gan hyny, gadewid yr eisteddle deuluaidd yn y capel Ymneillduol yn wag yn fynych, a chyrchai y teulu i eglwys newydd a gyfodasid yn y rhan hono o'r plwyf yn ddiweddar. Ymliwiai y gweinidog pryderus â'r rhieni am eu hymddygiad, gan ddangos iddynt y canlyniadau ofnadwy o hono; ond eu hateb ydoedd, gan fod y teulu wedi cymeryd yn erbyn Ymneillduaeth, ac at yr eglwys, eu bod yn teimlo mai eu lle hwynt oedd cydffurfio â'u hewyllys, rhag pe nas gwnelent, y byddai i'w plant gymeryd yn erbyn crefydd yn hollol; a chan fod eu holl ferched wedi dyfod i hoffi y periglor yn fawr, yr hwn oedd yn ŵr dysgedig a barddonol, eu bod yn gobeithio y gallai efe fod yn offerynol i wneyd daioni iddynt. Gan hyny, er mor hoff oedd *eu gweinidog anwyl eu hunain* ganddynt, ac na phallai eu hoffder ato, eto bod eu dyledswydd fel rhieni yn eu rhwymo i fyned gyda'u teulu, fel y gallent eu cael dan eu gofal eu hunain. Wrth wneuthur y sylwadau hyn, ymddengys eu bod wedi anghofio y ffaith, pe buasent wedi ymarfer eu hawdurdod fel rhieni yn wastadol, na buasai yr ymddygiad yma wedi dyfod yn anghenrheidiol. Bu yr holl helynt yma yn pwyso yn drwm ar y galon hon o'n blaen, fel y mae yn rhy amlwg, gan ei gwanu hyd ei chraidd; canys efe a deimlai fod dull y byd hwn wedi dyfod yn fwy pwysig yn ngolwg y teulu dan sylw nag iachawdwriaeth eu heneidiau anfarwol.

"Elai pob peth ymlaen yn esmwyth yn

y teulu hwn dros oddeutu blwyddyn, pan y cymerwyd y tad gan law gref cystudd, i ystafell bruddaidd ystyriaeth, ïe, a marwolaeth hefyd. Yn ystod ei afiechyd, efe a anfonodd am ei hen athraw ysbrydol, yr hwn yn ebrwydd a brysurodd i'r tŷ, lle y cafodd efe y gŵr mewn trallod meddwl dirfawr, trwy yr ymwybodolrwydd o'i fod wedi bod yn esgeulus yn llywodraethiad ei deulu. Y cyffröad a achlysurid gan eu cyfarfyddiad ydoedd boenus i'r ddau. Wedi tawelu ychydig, cydiai y tad cystuddiedig yn llaw ei hen weinidog; a dywedai oddiar galon lawn o deimlad, 'Fy anwyl syr, myfi a fynwn gan Dduw pe gallwn ddileu coffadwriaeth a dylanwad fy saith mlynedd diweddaf oddiar ddalenau fy hanes teuluaidd; ond, och! y mae yn rhy ddiweddar yn awr. Rhoddais fy awdurdod fel tad i fyny i ddymuniadau cnawdol ieuenctyd penchwiban; a chan ynfydu ar ymddangosiadau y cylch cymdeithasol i'r hwn y'm dyrchafasai fy llwyddiant, myfi a aberthais heddwch fy enaid fy hun, a'r hyn sydd waeth, peryglais ddiogelwch fy mhlant anwyl. Yr ydwyf yn ddyn marwol yn awr, ac yn gadael teulu mawr wedi eu llygad-dynu gan ffurfioldeb difywyd, eto heb Dduw, ac heb obaith yn y byd; ac un o'r drain llymaf yn fy ngobenydd, ydyw y ffaith fy mod wedi eu harwain, neu oddef iddynt gael eu llithio oddiwrth wirionedd iachus yr efengyl, i eistedd lle y gwn nad yw Crist yn cael ei bregethu na'i garu. O mor ofnadwy a fydd ing fy enaid pan y'm cyhuddant o hyn o flaen brawdle Duw!' Nid allai y claf druan, yr hwn oedd yn suddo yn gyflym, ddywedyd dim yn ychwaneg am beth yspaid; gan hyny nis gallai y gweinidog ffyddlawn namyn ei annog eto i roddi ei ymddiried yn yr Iawn holldigonol; ac wedi ei gyflwyno i Dduw mewn gweddi fer ond gwresog, efe a'i gadawodd mewn dagrau. Ymhen rhai oriau ar ol hyn efe a ymgryfhäodd ychydig, ac a alwodd am i'w deulu dwfndrallodus ddyfod i'w ystafell wely, pan yr eiddunodd arnynt yn y modd difrifolaf i droi oddiwrth holl wagedd y byd hudolus hwn, a ceisio pleser tragywyddol, a thangnefedd gwirioneddol, yn yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist Iesu, gan attolygu arnynt oll, â'i anadl olaf, i gefnu ar y ddefodaeth a'r coegwychder i'r hyn yr ymroisent, a dychwelyd i'r hen lwybrau, gan gymeryd meddiant eto o'r hen sêdd deuluaidd yn nghysegr Duw a adawsent er ys cyhyd o amser, a'u sicrhâu nad allai ffurfiau na darluniau eu gwaredu rhag y llid a fydd. Wedi dywedyd hyn, gofynai iddynt faddeu iddo y cam a wnelsai â hwy trwy beidio rhoddi attalfeydd ar eu nwydau ieuengaidd, a'u tywys mewn modd mwy cristionogol; yna, gweddïai ar fod i'w rybuddion a roddai iddynt oddiar ei wely angeu, eu harwain i geisio a chwilio eu ffyrdd, a dychwelyd at yr Arglwydd. Ar hyny efe a gwympodd yn wysg ei gefn, ac yn y fan efe a gyfrifid gydag ysbrydion y byd anweledig. Y weddw alarus, a'r plant amddifaid wylofus, a deimlent rym y geiriau uchod ar y fath amser; a thros ychydig wythnosau, ystyrid ei gais olaf hwn yn ddeddf; ond, fel y gwisgid awchlymder y dyrnod ymaith, deuai cysylltiadau byw i gael mwy o ddylanwad na rhybuddion gwely angeu; o ganlyniad, gadawid y fam weddw wrthi ei hun yn fuan i ymdrechu cydffurfio â chais ei gŵr; ond cafodd yr eglwys golled am y plant, trwy y llacrwydd bydol a'r cydffurfiad pechadurus a grybwyllwyd uchod.

"Y galon drallodus hon a deimlai yn llymdost oddiwrth yr amgylchiad hwn; canys effeithiai siampl y teulu tra chyfrifol yma yn dra niweidiol ar eraill. Mewn gair, dilynwyd eu camrau gan lawer eraill, er gofid i'r eglwys, a phoen yr archoll gorlifol hwn."

Er cymaint o amser a gymerth y chwedl bruddaidd hon i'w hadrodd, yr oedd pwysigrwydd yr addysg ddifrifol a gynnwysai yn cyfiawnhâu yr amynedd a pha un ei gwrandewid. Y ffeithiau difrifol a adroddid, a'r gobaith y byddai i'r cyhoeddusrwydd a roddid iddynt fod yn fanteisiol i eglwys Dduw, a barai fod yr ychydig amynedd oedd at law yn ddigon hydwyth i wrando adroddiad ychwanegol. Gan fod yr arweinydd yn canfod hyn, efe a gyfeiriai ar unwaith at archoll arall, a dechreuai ddywedyd,—

"Yr archoll hwn a achosid gan gybydddod a hunanoldeb rhai o aelodau yr eglwys, y rhai, fel yr ymddengys, nid oeddynt yn gofalu am anrhydedd Duw na llesâd y byd; ni chydnabyddent hawlion y byd paganaidd, na gofynion eu heglwys eu hunain, ond yr oeddynt yn byw yn gyfan ac yn unig erddynt eu hunain. Parai hyn y fath ofid i'r gweinidog, fel y gwânai ei galon megys cleddyf; canys efe a wyddai yn dda, pe buasai y rhai hyn yn cyfrif, gyda Phaul, fod Crist wedi marw drostynt, ac y dylasent fyw iddo o hyny allan, y cawsid ynddynt y cynnorthwywyr goreu yn ngwinllan Duw.

"Yr archoll nesaf yma," eb efe, "a achoswyd gan anwadalwch rhai cyfeillion proffesedig, y rhai oeddynt yn dra brwdfrydig dros dymmor, ond a arweinid gan glustiau merwinol i grwydro, neu a lithid gan esmwythder cnawdol i aros gartref, fel nad oedd unrhyw sicrwydd y cyfarfyddid hwynt byth yn eu lle priodol yn yr ysgoldŷ; ac fel hyny yn fynych gwânid i'r byw yr hwn a fuasai yn arlwy ar gyfer eu hanghenion ysbrydol, trwy ddeall fod

mor hawdd gwasgaru ei ddeadell, naill ai gan wynt lled gryf, neu gan ryw gydymaith dyddan, neu trwy gael ei attal gan debygolrwydd i gawod o wlaw, pan oedd efe mewn ysbryd gweddi wedi bod yn arlwy bwrdd ar gyfer eu heneidiau anghenog.

"Rhoddwyd archollion eraill i galon y gweinidog trwy fod rhai yn yr eglwys yn talu mwy o sylw i opiniynau dynion nag i wir air Duw. Y rhai hyn yn fynych yn eu gweddïau, a'u hymddyddanion cyffredin, a roddent liw ar y gwirionedd ydoedd yn ddianrhydeddus i Dduw, ac yn attalfa i ffyniant crefydd bur; a'r anwybodus a faglid yn aml trwy y camddarluniadau hyn, yn gymaint a'u bod yn foddhâus i'r cnawd, er eu bod yn niweidiol i iechyd yr enaid, ac yn peri trafferth fawr i'r gweinidog wrthweithio y dylanwadau niweidiol hyn, ac yn llenwi ei feddwl tyner â'r gofid dwysaf, wrth ystyried fod yr un o'r praidd oeddynt dan ei fugeiliaeth ef yn gwrthod ymborthi ar borfa iachus gwirionedd yr efengyl.

"Y pethau uchod, a thorf o bethau eraill, rhy liosog i'w henwi, oeddynt y cleddyfau a'r picellau â'r rhai y rhwygid ac y gwânid y galon fawr hon. Eto, yr holl yspaid yma efe a elai rhagddo, er syndod i bawb a fuont yn sylwi ar yr archollion hyn wedi hyny, gan bregethu yr Iesu fel unig Gyfaill pechaduriaid, ac ymdrechu i ddilyn esiampl ei Feistr, yr hwn â'i anadl olaf a weddïai,—"O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur.' Fel hyn y bu fyw, ac fel hyn y llafuriodd, hyd oni ddarfu i'r archollion mynych ac annysgwyliadwy a gafodd oddiwrth aelodau ieuainc, ac ymddygiad creulawn ac annuwiol rhai hynach, wasgu ar, a threulio ei gyfansoddiad i'r fath raddau, fel o'r diwedd ei nychwyd, ac y bu farw yn nghanol ei ddyddiau, yn anwyl iawn gan bawb a'i hadwaenent mewn gwirionedd, ac yn cael ei ganmawl yn fawr, hyd yn nôd gan lawer o'r rhai a wânasant ei enaid â'u saethau gwenwynig, neu a gynnorthwyasant i lasu ei gernflew cyn iddo gyrhaedd hen ddyddiau.

"Y darganfyddiad o'r archollion hyn ar ol ei farwolaeth, a barodd i'r galon hon gael ei chyfleu yma, dan y grediniaeth y bydd i'r daioni a ddeillia o hyny gyfiawnhau ei harddangosiad; canys prin y gellir credu y bydd i aelodau eglwysig, wedi y darganfyddiad yma, fod mor ddibris i wanu calonau y rhai ydynt mor awyddus ac ymdrechgar am eu lleshâd ysbrydol."

Wedi terfynu yr adroddiad cyffrous yma, a dychwelyd o honom lawer o ddiolchiadau i'n harweinydd, efe a giliodd o'r neilldu, gan adael i adfyfyrdod wneyd ei waith gyda golwg ar y peth hwn, yr hyn a arweiniodd i'r penderfyniad o gyhoeddi yr hanes at wasanaeth yr holl eglwys, gan gredu y byddai darlleniad ystyriol o'r ffeithiau dysyml hyn yn fendithiol i laweroedd, yn gymaint a'i fod yn rhy hysbys i'w ammheu, fod miloedd o galonau yn gwaedu, trwy ymddygiadau anwyliadwrus, anwybodus, neu fwriadol y rhai eu gosodwyd gan Dduw yn fugeiliaid arnynt. Sycher yr archollion hyn gan gysondeb cariadus; a bydded i bawb ystyried anrhydedd Crist, a theimladau eu gweinidogion; ac heb ofergoeledd, "wneuthur cyfrif mawr o honynt mewn cariad, er mwyn eu gwaith."

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD VIII.

*O dan Addysg.*

Os dygwydd i'r hanes hwn syrthio i ddwylaw rhai o fy nghyfeillion pan fyddaf fi yn isel fy mhen, ac os dygwydd iddynt fyned i'r drafferth o'i ddarllen, gwn y byddant yn synu fy mod wedi ymdroi cymaint gyda phethau mor fychain a dibwys. Dyma fi wedi ysgrifenu saith o bennodau ar y cyfnod byr, sef o adeg fy ngenedigaeth hyd y diwrnod yr aethum gyntaf i'r ysgol ddyddiol. Pe buaswn yn ei ysgrifenu i un o'r cyfnodolion, diammheu genyf y buasai y golygydd wedi colli pob amynedd er ys talm, ac wedi fy annog i symud ymlaen yn gyflymach, neu ynte i daro yr hanes yn ei dalcen. Ond yn hyn y mae y fantais o ysgrifenu i ddifyru fy hun, ac nid y cyhoedd. Mae y dyn sydd yn myned ar daith negesyddol yn cerdded yn syth yn ei flaen ar hyd y ffordd agosaf, ac hwyrach yn ol pedair milldir yr awr ar ei oriawr. Ond y mae yr hwn sydd yn myned i rodiana i'w hen wlad enedigol yn ddall i geryg milldiroedd; mae yn dringo dros y cloddiau, yn crwydro yn y llwyni, yn hel nythod adar, yn casglu cnau a mwyar duon, yn eistedd ar y twmpathau mwsoglyd, ac yn lolian gyda min yr afon, a hyny heb gofio fod ganddo y fath beth âg oriawr yn ei logell. Rhowch i mi yr olaf. Y fath ryddid sydd genyf! Nid oes neb i'm galw i gyfrif am wneyd rhagymadrodd i bob pennod, os byddaf yn dewis; nid oes eisieu ail-ffurfio brawddegau, os byddant yn darllen dipyn yn anystwyth a chlogyrnaidd, ac nid oes eisieu gofyn i mi fy hun beth a ddywed y darllenydd am y peth yma neu y peth arall.

Yr oeddwn yn meddwl heno ddiweddaf yn y byd, beth pe buaswn mor rhyfygus a hunandybus â chyhoeddi yr hanes hwn ar

fy nghyfrifoldeb fy hun (oblegid felly y buasai raid i mi wneyd pe cyhoeddaswn ef o gwbl), a beth pe buasai yn dygwydd dyfod o dan lygaid ceidwad llenyddiaeth bur—y *modern* Macaulay? Mae iasau yn myned trwof wrth feddwl am y peth. Diammheu genyf yr ysgrifenasai feirniadaeth lem i brif bapyr y "genedl"—dyfynasai ychydig o'r beirdd Seisonig, a rhoddasai yn ngwaelod yr erthygl "Lerpwl," a buaswn innau wedi fy andwyo! Yr enw "Lerpwl" a fuasai yn gwneyd y gwaith, oblegid gwyddai pawb nad oes ond un "Lerpwl." Ond yn awr gallaf ddyweyd wrth y brawd hwnw, Cadw dy wenwyn i ladd y llygod Ffrengig sydd yn heidio y selerydd yna; canys cyn y daw yr hanes hwn o dan dy lygaid eryraidd byddaf fi yn ddigon pell.

Yr oeddwn yn meddwl hefyd am Dafydd Dafis, yr hen flaenor yma. Hen ŵr da a duwiol odiaeth ydyw Dafydd Dafis—un o ffyddloniaid yr hen ysgol, yr hwn na symudodd oddiwrth reolau yr hen dadau gymaint ag i droi ei wallt oddiar ei dalcen. Mae genyf barch mawr i'w synwyr ac i'w ragfarnau. Gwn fod gan Dafydd Dafis feddwl uchel o honof, ac fe allai mai hyny ydyw y rheswm fy mod innau yn meddwl mor uchel am dano ef. Yn wir, erbyn i mi ystyried, yr wyf yn cael mai hon ydyw y rheol wrth ba un yr wyf yn ffurfio fy syniadau am y brodyr. Os deuaf i ddeall fod hwn a hwn yn meddwl yn dda am danaf, byddaf, rywfodd, yn erbyn fy ngwaethaf, yn dyfod i'r penderfyniad fod yn rhaid fod rhywbeth yn y dyn hwnw. Ac felly i'r gwrthwyneb. Yr wyf yn cofio adeg pan oeddwn yn synied yn lled uchel am y brawd o'r *post-office;* ond pan ddaethum i ddeall nad oedd ef o'r un syniad am danaf fi, syrthiodd ar unwaith yn fy meddwl; a byth ar ol hyny nid allaf feddwl am dano ond fel un â rhyw ddiffyg pwysig yn perthyn iddo, er nad allaf roddi fy mys ar y diffyg hwnw. Ond beth pe buasai Dafydd Dafis yn gwybod fy mod heno yn ysgrifenu peth mor blentynaidd â hanes y diwrnod cyntaf yr aethum i'r ysgol? Mae arnaf ofn y buaswn yn syrthio yn ei olwg. Yn ffodus, ni ŵyr efe ddim am yr hanes hwn. Byddaf yn aml iawn yn cael fy hunan yn gwneyd rhai pethau ac yn ymattal oddiwrth bethau eraill, a hyny yn gwbl er mwyn Dafydd Dafis. Wrth ymddyddan âg ef bum mewn profedigaeth lawer gwaith i arfer cellweirair, ond o barch i'r hen ŵr ymattaliwn. Dro yn ol daeth blys mawr arnaf i adael i fy marf dyfu ar fy ngwefus uchaf, oblegid y mae llawer iawn o bregethwyr ieuainc yn gwneyd felly yn awr; ond cofiais y fynyd hono am Dafydd Dafis; nid allwn wneyd y fath beth heb ei dramgwyddo, ac yr wyf yn eillio byth. Gan nad ŵyr Dafydd Dafis am yr hyn yr wyf yn ei wneyd, yr wyf, er difyrwch i mi fy hun, am roddi hanes manwl, heb gelu dim, am y diwrnod cyntaf yr aethum i'r ysgol ddyddiol.

Dydd Llun ydoedd, a'r gauaf oedd hi. Galwodd Wil Bryan am danaf yn brydlawn, a chafodd siars benodol gan fy mam i gymeryd gofal o honof. Awgrymodd Wil wrthyf ar y ffordd fod yn lled debyg y byddai raid i mi ymladd gydag un neu ddau o'm cydysgoleigion—nad oedd hyny yn beth pleserus, ond mai dyna oedd yr arferiad bob amser gydag ysgolor newydd, ond y gofalai ef am fod wrth fy nghefn i edrych am i mi gael chware teg. Yr oedd yr awgrymiad hwn yn bobpeth ond cysurus i mi, yn benaf am fy mod yn argyhoeddedig nad oedd fy nhalent yn gorwedd o gwbl yn y ffordd hono, ac hefyd am fy mod yn gweled y posiblrwydd i'r ffaith, os cymerai le, ddyfod i glustiau fy mam gartref, ac i'r eiddo Abel Hughes yn y Seiat Plant. Yr oedd arnaf gywilydd cydnabod hyn wrth Wil Bryan; a dywedais wrtho yr ymddygwn yn ol ei gyfarwyddyd ef; ac, yn wir, ni fynaswn er dim ei groesi, gan mor uchel y safai yn fy meddwl.

Adeilad hir a chul ydoedd yr *office* lle y cynnaliai yr hen Sowldiwr ei ysgol. O'i chwmpas yr oedd mainc arw a cham; ac yn gysylltiedig â hi yr oedd desc yn pwyso ar y mur. Sylwais yn un o'r pethau cyntaf nad oedd yn y ddesc prin fodfedd ysgwar heb fod ôl y gyllell wedi bod yn tori arni naill ai llun, ffigiwr, neu enw. Ymhen draw yr ysgoldŷ, yn ymyl y tân, yr oedd desc y meistr, ac yn ei gwaelod yr oedd clamp o dwll, dyben pa un, fel y cefais weled ar ol hyny, oedd er cyfleusdra i goes bren y meistr ymwthio drwodd pan fyddai efe yn eistedd. Ar fy mynediad cyntaf i mewn i'r ysgol, gwelais olygfa ryfedd a newydd iawn i mi y pryd hyny. Yr oedd y bechgyn oll yn bresennol, rhai ar dop y ddesc, rhai ar gefnau eu gilydd yn chwareu ceffylau, ac yn carlamu o gwmpas yr ysgol, ac eraill yn dŵr ar lawr, ac yn ymrwyfo trwy eu gilydd fel llysywenod mewn llaid. Yr oedd un—bachgen cloff wrth ei fagl—yn ceisio dynwared y meistr, gan eistedd wrth ei ddesc, ac wedi gwthio ei fagl trwy y twll, ac yn gwaeddi yn uchel am osteg, ond i ddim pwrpas. Newidiai yr olygfa bob mynyd, a gwaeddai pob un nerth ei ben oddigerth un bachgen, yr hwn a safai ar dop y ddesc yn ymyl ffenestr, gan ranu ei sylw cydrhwng y chware â'r cyfeiriad o ba un y dysgwylid y meistr. Teimlwn yn rhyfedd ar y pryd, a meddyliwn fy mod wedi dyfod i ganol plant drwg iawn; a phe gwybuasai fy mam pa fath rai oeddynt, ni chawswn byth fyned yno drachefn. O'r ochr arall,

yr oeddwn yn meddwl mai dyma y lle goreu a welswn erioed am *sport*. Ond fy nheimlad gorthrechol ar y pryd oedd rhyw fath o ddyeithrwch ac yswildod poenus, oblegid gadawsai Wil Bryan fi ar fy mhen fy hun, ac ymgymerasai yn chwannog â'r chwareu. Pan oeddwn wedi fy meddianu gan y teimladau hyn, gwelwn y bachgen oedd yn ymyl y ffenestr yn gosod ei ddau fys blaen yn ei safn ac yn rhoi chwibaniad clir; ac mewn amrantiad yr oedd pob bachgen yn ei le, ac yn chwythu yn fyr. Gwyddwn o'r goreu yr edrychwn i yn wirion ddigon yn sefyll fel *monument* oer ar fy mhen fy hun wrth y drws pan ddaeth y Sowldiwr i mewn. Aeth heibio i mi heb gymeryd arno fy ngweled. Edrychai yn ffyrnig a chyffrous; a deallais yn fuan nad oedd y gwyliedydd wedi rhoddi yr arwydd yn ddigon buan, ac fod y meistr wedi clywed yr holl dwrst byddarol. Aeth rhag ei flaen at y ddesc, a thynodd allan gansen hir a chref. Gwelwn y bechgyn yn gwneyd gwâr barotoawl, tra yr elai yr hen Sowldiwr o gwmpas yr ysgol, gan ffonio pawb yn greulawn a diwahaniaeth. Myfi oedd yr unig un na chafodd flâs y gansen, a myfi oedd yr unig un a dorodd i wylo allan, oblegid yr oeddwn wedi dychrynu. Gyda golwg ar y bechgyn eraill, yr oedd yn ymddangos eu bod hwy wedi hen gynefino â'r oruchwyliaeth. Wedi i'r bachgen olaf dderbyn ei ffonod, aeth y meistr yn ol at y ddesc; cyfododd ei ddwylaw i fyny a dywedodd, "*Let us pray*," ac adroddodd y pader yn bwyllog, a'r bechgyn yn ei ddilyn. Deallais ar ol hyn y byddai rhai o'r bechgyn drwg yn nghanol y trwst clochyddol hwn yn adrodd rhywbeth tra gwahanol i'r pader, yr hyn a barai chwerthiniad dystaw yn eu cyfnesafiaid.

Wedi i'r pader gael ei adrodd, gwaeddodd yr hen Sowldiwr yn awdurdodol, "*Rivets, my boys*," yr hwn oedd yr arwyddair bob bore Llun i'r bechgyn ddyfod ymlaen gyda'u ceiniogau. Os byddai bachgen heb ddyfod â'i geiniog gydag ef, byddai raid iddo estyn ei law allan i'r dyben o dderbyn argraff gynhes y gansen, yr hyn fel rheol a barai iddo ddawnsio yn ol i'w eisteddle gan wasgu ei law rhwng ei gliniau, neu dan ei gesail, neu ei gwthio i'w safn, neu ynte ei hysgwyd fel pe buasai newydd ei thynu allan o'r tân. Hyn yn gyffredin a fyddai effaith slap â'r gansen yn ei gynnyrchu, yn enwedig os na byddid wedi cael cyfleusdra i boeri ar gledr y llaw a rhoi dau flewyn yn groes arni. Wrth fyned heibio, yr wyf yn cofio y byddai y bechgyn yn credu yn ddiysgog yn nghyfaredd y poeryn a'r ddau flewyn croes, i liniaru effaith losgfäol y gansen. Fy syniad i fy hun ydyw, er i mi wneyd y prawf lawer gwaith, na welais lawer o lês yn deillio o'i harferyd. Anfynych y gwelid bachgen yn wylo ar ol cael un slap ar ei law; ond os caffai ddau neu dri, byddai ganddo hawl y pryd hyny i ddolefain heb gael ei ystyried yn llwfryn. Byddwn i bob amser yn dolefain ar ol cael un slap; yr oeddwn yn enwog fel criwr; ond nid allwn ei helpio.

Ond i ddychwelyd: wedi i Wil Bryan fy nwyn at y meistr, ac iddo yntau roddi fy enw yn y llyfr, a derbyn fy ngheiniog, yr hon yr wyf yn cofio yn dda oedd yn boeth gan mor dỳn yr oeddwn wedi ei dal yn fy llaw rhag i mi ei cholli—dywedodd wrthyf am i mi fyned i fy lle, ac y cawn wybod toc beth a fyddai fy nhasg. Cefais y fraint o eistedd rhwng Wil Bryan ac un o'r enw John Beck. Yr olaf a ofynodd i mi yn ddiymdroi a oedd genyf ddimai? Atebais nad oedd. Gofynodd drachefn a wyddwn i pa bryd y byddai genyf un—y gwyddai ef am *shop* lle yr oedd lot o gyfleth i'w gael am ddimai—ei fod yn adnabod y siopwraig, ac y cawn ymron gymaint arall os byddai efe gyda mi. Dywedodd Wil Bryan wrtho am dewi, ac os na wnai y byddai yn edifar ganddo; a lled awgrymodd y byddai i mi roddi curfa iddo. Ychydig a feddyliwn y pryd hyny mai bachgen cyfrwysddrwg oedd Wil. Dywedodd Beck fod i mi roddi curfa iddo ef yn rhywbeth uwchlaw fy ngallu. Gofynodd Wil i mi a oedd genyf ofn Beck? Atebais innau yn wrol nad oedd, er mai fel arall y teimlwn. "O'r gore," ebe Wil, a chyn pen y pum' mynyd yr oedd y newydd wedi ei sibrwd yn nghlust pob bachgen yn yr ysgol fod ymladdfa i gymeryd lle rhwng Rhys Lewis a John Beck. Yr oedd fy nghydwybod yn dyner, a theimlwn yn bryderus iawn wrth feddwl am y fath beth; ond nid gwiw oedd i mi sôn am hyny wrth Wil Bryan, yr hwn a awgrymodd yn fy nghlust amryw gyfarwyddiadau fel rhagbarotöad i'r amgylchiad pwysig. Yr oeddwn wedi cael fy nysgu gan fy mam gartref, a chan Abel Hughes yn y seiat plant, fod ymladd yn bechod mawr; ac yr oedd fy nghydwybod yn danllwyth ynof wrth feddwl am fyned i ymladd hefo bachgen na ddywedodd air brwnt wrthyf erioed, ac nad oedd ynof un elyniaeth tuag ato. Cof genyf fy mod yn ceisio ymgysuro os dygwyddai i'r amgylchiad ddyfod i glustiau fy mam, y gallai hi edrych yn fwy maddeuol ar y peth am fod fy ngwrthwynebwr yn Eglwyswr, oblegid gwyddwn na choleddai hi syniadau uchel am yr Eglwyswyr. Hyderwn gan hyny yr edrychai hi ar y peth fel gwrthdarawiad damweiniol rhwng yr Eglwys a'r capel.

Am oddeutu awr o amser, nid oedd yn ymddangos i mi fod dim gwaith yn myned

ymlaen yn yr ysgol. Yr oedd yr hen Sowldiwr gan mwyaf o'r amser â'i ben i lawr,—naill ai yn darllen neu yn ysgrifenu, a'r bechgen, er fod eu llyfrau yn agored o'u blaenau, yn sisial â'u gilydd yn ddidòr. Gwyddwn o'r goreu mai myfi a John Beck oedd testyn yr ymddyddan. Os dygwyddai i'r siarad fyned dipyn yn uchel, gwaeddai y meistr nerth ei ben, *Silence!* ac am ychydig o fynydau byddai dystawrwydd. Am chwarter i un ar ddeg o'r gloch, rhoddwyd gorchymyn i ni fyned i chware, a neidiodd pawb ar eu traed gan ruthro allan fel defaid yn myned trwy adwy. Curai fy nghalon yn gyflym wrth feddwl am yr hyn oedd i gymeryd lle. Cyn i mi wybod dim ymron, cefais fy hunan yn y buarth yn ymladd gyda John Beck. Gwnaethum fy ngoreu yn yr amgylchiad, er nad oeddwn yn ymwybodol pa fodd yr oeddwn yn dyfod ymlaen, oblegid yr oedd fy llygaid gan mwyaf o'r amser yn gauedig, nid gan ddyrnodiau fy ngwrthwynebwr, eithr gan ofn. Gwn hyn, na pharhäodd yr ornest yn hir, a llonodd fy nghalon pan ddeallais fod pobpeth drosodd, a fy mod yn orchfygwr. Credu yr wyf hyd heddyw mai fy helpu a gefais gan Wil Bryan. Nis gwn pa un falchaf oeddwn, ai am fod yr ymladdfa drosodd ai am fy mod wedi dyfod allan o honi yn orchfygwr, ac yn hollol groeniach, pan saethwyd braw i fy nghalon gan lais awdurdodol y Sowldiwr yn ein galw i'r ysgol. Amlwg ydoedd ei fod wedi gweled yr holl helynt; a chlywais amryw o'r bechgyn yn sisial ar unwaith mai mab y wraig oedd yn glanhâu yr Eglwys, yr hwn a lysenwid "Llèch," oedd wedi cario y newydd i'r meistr; a lleng oedd y bygythion a fwrid ar ei ben. Wedi i ni fyned i'r ysgol, galwyd ar Rhys Lewis a John Beck at y ddesc i roddi cyfrif o'u goruchwyliaeth. Dyma fynydau ofnadwy, ond profodd Wil Bryan ei hun yn un â'i air. Daeth at y ddesc heb ei ofyn i roddi ei dystiolaeth. Mynegodd yn ddigryn wrth y meistr mai Beck oedd wedi rhoddi hèr i mi, a fy nharo gyntaf. Gwadwyd hyn yn bendant gan Beck. Galwyd tyst arall, a dygwyddodd hwnw fod yn elyn i Beck, a chadarnhäodd dystiolaeth Wil Bryan. Dywedodd yr hen Sowldiwr, yn gymaint ag mai hwn oedd y diwrnod cyntaf i mi fod yn yr ysgol, y gollyngai efe fi yn rhydd a digerydd am y tro, ond gyda golwg ar Beck y caffai dair ffonod; un am ymladd heb fod achos yn galw am hyny, un am gymeryd ei orchfygu gan ei wrthwynebydd, ac un am wadu y cyhuddiad a ddygid yn ei erbyn. Cydymdeimlwn yn fawr â Beck Gosodwyd ef, druan, ar gefn yr hogyn cryfaf yn yr ysgol, dynoethwyd rhan neillduol ar ei gorff, nad oeddwn ar y pryd yn gofalu am ei gweled, ac nad ydwyf yn awr yn gofalu am ei henwi, a gweinyddwyd arno y gosbedigaeth ddywededig. O flaen pob ffonod, rhagymadroddai yr hen Sowldiwr fel y canlyn,—"*This is for fighting without a reasonable cause*" (ffonod); "*this is for coming out of the fight the vanquished*" (ffonod); *and this is for denying the true accusation brought against him*" (ffonod). Mewn amser dilynol, clywais y balafar hon rai degau o weithiau, a dyna sut yr wyf yn ei chofio mor dda. Pregeth neillduol o gyfeiriadol a dylanwadol ydoedd hon o eiddo yr hen Sowldiwr, am hyny efe a'i traddodai yn fynych. Yn ei dro gwelais bob bachgen yn yr ysgol oddigerth un yn neidio ac yn gwaeddi o dan ei heffeithiau, er nad yn orfoleddus. Yr un hwnw ydoedd Wil Bryan. Pa hwyl bynag a gaffai yr hen Sowldiwr, nid allai beri i Wil waeddi, yr hyn a'i gwnaeth yn wron ymhlith y plant, ac yn gynllun o ddewrder. Ymddangosai i mi fod bechgyn yn gyffredinol yn cymeryd dyddordeb mwynhäol yn ngweinyddiad y gosb ar Beck; ac ystyriwn hyny yn greulondeb mawr ar eu rhan, gan na wyddent pa un o honynt fyddai nesaf dan yr un driniaeth.

Gorweddai euogrwydd mawr ar fy nghydwybod o herwydd yr hyn a gymerasai le; ac yr oedd arnaf frys am weled amser gwely, er mwyn i mi gael gweddïo am faddeuant am bechodau y diwrnod, fel y cawswn fy nysgu. Yn ffortunus, ni ddaeth yr amgylchiad i glustiau fy mam; ac am a wn i, ni wybu Abel Hughes am y peth. Ni chymerodd dim neillduol le brydnawn y dydd hwnw. Yr wyf yn sicr mai un wers yn unig a gefais, a hono mewn sillebiaeth, y dydd cyntaf yr aethum i'r ysgol; ac nid wyf yn meddwl i neb o'r bechgyn gael mwy nag un. A siarad yn gyffredinol, gallaf sicrhâu fod pob bachgen yn cael mwy o ffonodiau nag o wersi. Dygwyddodd un peth y diwrnod hwnw a dawelodd lawer ar fy nghydwybod, ac sydd hefyd yn fforddio cysur mawr i mi y fynyd hon Pan aethum adref i fy nghiniio, cefais ddimai gan berthynas i mi am fy ngwrolwaith yn myned i'r ysgol. Ni chollais ddim amser i hysbysu John Beck am y dygwyddiad hapus, ac i wneyd ammodau heddwch âg ef. Daeth yntau gyda mi i'r *shop* lle yr oedd y ddimeiwerth fawr i'w chael, a chafodd Beck y rhan oreu o'r cyfleth, ac ni fachludodd yr haul ar ein digofaint. Yn fy niniweidrwydd yr wyf yn cofio yn burion y credwn, o herwydd fod pethau wedi diweddu mor dda, nad oedd angenrheidrwydd am i mi weddïo am faddeuant wrth fyned i orphwys, ac ni wnaethum. Hyd yr wyf yn cofio, fel yr adroddais yr oedd dygwyddiadau y diwrnod cyntaf yn ysgol Robyn y Sowldiwr.

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

PORTREIADAU TRYDYDD EPISTOL IOAN.

Yn y dyddiau hyn y mae agos bob peth yn cael eu hanfon drwy'r llythyrfa. Ymysg pethau eraill, y mae portreiadau a darluniau yn cael fel hyn eu trosglwyddo yn fynych; ac y mae gan ymron bob tref luniau o adeiladau ac o dir-olygfeydd *(landscapes)* wedi eu printio ar bapyr llythyr, y rhai a anfonir i gyfeillion pellenig. Oesoedd cyn sefydlu y llythyr-swyddfa yn ein gwlad ni na gwledydd eraill, anfonwyd llythyr gan arlunydd oedd yn feistr ar ei waith, yn cynnwys pedwar portreiad; pob un yn gynnwysedig mewn ychydig *strokes*, ond y rhai hyny wedi eu tynu gan law pen-celfyddwr. Mae tri o'r portreiadau hyn yn wir ddeniadol, ac un yn anferth o anhawddgar, ond oll yn addysgiadol i bawb a edrycho arnynt.

Y llythyr hwnw yw Trydydd Epistol Ioan, yn yr hwn y cawn luniau Gaius, Diotrephes, Demetrius, ac Ioan ei hun. Gadewch i ni gymeryd cipolwg ar bob un o honynt.

Yn gyntaf wele Gaius rasusol. "Yr henuriad at yr anwyl Gaius, yr hwn yr wyf yn ei garu mewn gwirionedd. Yr anwylyd, yr ydwyf yn benaf dim yn dymuno dy fod yn llwyddo ac yn iach, fel y mae dy enaid yn llwyddo. Canys mi a lawenychais yn fawr pan ddaeth y brodyr, a thystiolaethu am dy wirionedd di, megys ag yr ydwyt yn rhodio mewn gwirionedd. Mwy llawenydd na hyn nid oes genyf, sef cael clywed fod fy mhlant yn rhodio mewn gwirionedd. Yr anwylyd, yr ydwyt yn gwneuthur yn ffyddlawn yr hyn yr ydwyt yn ei wneuthur tuag at y brodyr, a thuag at ddyeithriaid, y rhai a dystiolaethasant am dy gariad di ger bron yr eglwys, y rhai os hebryngi fel y gweddai i Dduw, da y gwnei." 3 Ioan 1–6.

Beth a welwn ni yn y portreiad prydferth hwn? Dyma ni yn gweled cristion cywir, da, caruaidd, gweithgar, yn dwyn delw ei Feistr mawr; credadyn gyda chorff gwan ond enaid iachus; gŵr yn gyfarwydd â chystudd, ond y gwirionedd yn aros yn egwyddor fywiol ynddo; un â'i galon yn agored i dderbyn y gwirionedd, a'i dŷ yn agored i groesawu cyfeillion a chyhoeddwyr y gwirionedd; duwioldeb personol, cariad brawdol, a zêl genadol, wedi eu cymhlethu yn harddwych ynddo. Nis gallwn edrych ar y fath bortreiad heb garu ei wrthddrych, a chwennychu bod yn debyg iddo.

Mewn gwrthweddiad i Gaius, cawn yn nesaf Diotrephes ormesol. "Mi a ysgrifenais at yr eglwys; eithr Diotrephes, yr hwn sydd yn chwennych y blaen yn eu plith hwy, ni dderbyn ddim o honom. O herwydd hyn, os deuaf, mi a ddygaf ar gof y gweithredoedd y mae efe yn eu gwneuthur, gan wâg-siarad i'n herbyn â geiriau drygionus; ac heb fod yn foddlawn ar hyny, nid yw efe ei hun yn derbyn y brodyr; a'r rhai sydd yn ewyllysio, y mae efe yn eu gwahardd, ac yn eu bwrw allan o'r eglwys." 3 Ioan 9, 10.

Mor arw ac afledneis yw prydwedd y dyn hwn! a chofier fod yr Ysbryd Glân yn fforddi llaw yr arlunydd. Onid yw yn beth sydd yn edrych yn chwith fod dyn oedd yn nacâu derbyn Ioan anrhydeddus a chariadlawn, gan gau'r drysau yn erbyn y brodyr, ac yn peri i eraill wneyd yn gyffelyb, yn aelod o'r eglwys, ac nid yn unig yn aelod ond yn ŵr mawr ynddi? Wele hwn â'i air yn gyfraith gyda phobl o feddyliau gwein on, ac yn gallu llwyddo i ddiarddel rhai o'r aelodau goreu yn yr eglwys—pobl onest-galon oedd yn ufuddhâu yn gydwybodol i'r gwirionedd, ac nid yn ymostwng yn wasaidd iddo ef. Gwreiddyn yr holl ddrwg hwn ynddo oedd gorawydd am awdurdod: "chwennych y blaen yn eu plith hwy." Y peiriant ar waith i yru'r drwg ymlaen oedd tafod ffraeth a maleisus: "gan wâg-siarad i'n herbyn â geiriau drygionus." Mae yn ddigon tebyg eu bod yn ymddangos i rywrai yn eiriau teg; ond y mae Ysbryd Duw yn eu galw yn "eiriau drygionus." Mae yn ofidus meddwl fod personau yn byw yn awr yn Nghymru ag y mae portreiad y Diotrephes gynt yn ddarlun byw o honynt hwy, megys y mae llawer o weinidogion ac eglwysi yn gorfod gwybod, ysywaeth.

Math o ymwared hyfryd i'r meddwl yw troi oddiwrth ddarlun y Diotrephes anghynhes hwn i edrych ar Demetrius, a darllen yr hyn a ysgrifenwyd dan ei bortreiad ef. "Y mae i Demetrius air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun; a ninnau ein hunain hefyd ydym yn tystiolaethu, a chwi a wyddoch fod ein tystiolaeth ni yn wir."

Un cwbl wahanol i Diotrephes oedd Demetrius; un yn dyweyd ychydig, ac yn gwneyd llawer; un yn caru gwasanaethu yn well na llywodraethu, heb geisio tâl na chlod gan ddynion am yr hyn a wnelai. Ac yr oedd efe yn ymroddgar i achos y gwirionedd; ac wele wir anrhydedd, "gair da," yn ei goroni. Mae yn ddigon tebyg fod aml i bagan yn y gymydogaeth yn dywedyd, "Pan edrychwyf ar Demetrius, byddaf agos a chael fy ennill i fod yn gristion; ond pan feddyliwyf am Diotrephes, byddaf yn cilio yn ol, ac yn

meddwl mai nid o'r nefoedd y daeth grefydd ag y mae dyn fel efe ar unwaith yn ei paroffesu ac yn ei haumharchu."

Y portreiad olaf a nodwn yw portreiad yr apostol Ioan. Y mae efe yma yn ei bortreiadu ei hun heb geisio na meddwl am wneyd hyny, megys, yn wir, y gwna efe yn ei holl ysgrifeniadau. Yn yr hyn a ddywed wrth Gaius, ni a welwn dynerwch a chryfder ei gyfeillgarwch, ac a welwn hefyd ei ymhyfrydiad mewn sancteiddrwydd, ei zêl dros y gwirionedd, a'i fawrygiad o wasanaeth defnyddiol ei frodyr. Yn ei gyfeiriad at Diotrephes, yr ydym yn gweled ei gasineb at bob ffug a lledrith, ei deimlad angerddol oblegid unrhyw amfri a roddid ar wirionedd ac achos a phobl Dduw, ei ffieiddiad o falchder a chnawdolrwydd ac ysbryd gormesol, a'i ffyddlondeb diofn yn argyhoeddi a cheryddu y beïus. Ac yn ei ganmoliaeth i Demetrius, canfyddwn ef yn rhydd o bob cenfigen, yn ymbleseru mewn gweled delw Duw ar ei bobl, ac yn awyddus am i holl wir saint yr Arglwydd feddwl yn uchel am eu gilydd. Nid rhyfedd mai hwn ydoedd "y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu."

MATTHEW XXV. 32, 33: "A chydgesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd; ac efe a'u didola hwy oddiwrth eu gilydd, megys y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr: ac efe a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy."

YR oedd cenadwr efengylaidd yn ysgrifenu o Malta rai blynyddau yn ol, "Ar ein ffordd i Merino, cefais eglurhadaeth Ysgrythyrol, oedd yn rymus i mi, oddiwrth weled deadellau o ddefaid a geifr yn porfâu ynghyd yn yr un maes, neu ar yr un cyttir. Yr oedd y geifr o rywogaeth raggorach nag a welswn i o'r blaen, ac yr oedd gwlân y defaid yn hir a garw, fel, wrth daflu eich llygaid dros y lle, mai prin y gallech ddyweyd ar yr olwg gyntaf pa rai oedd y geifr a pha rai y defaid. Ond yr oedd y bugail yn min yr hwyr, fel yr oeddwn yn gweled, yn dwyn y deadellau adref, ac yn eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, yn gosod y defaid wrthynt eu hunain, a'r geifr wrthynt eu hunain. Ni ddaeth geiriau yr Iachawdwr am y farn olaf ynghylch didoli y cyfiawnion a'r anghyfiawnion, megys y didolir y defaid oddiwrth y geifr, erioed mor effeithiol i fy meddwl, nag ar ol sylwi fel hyn ar y defaid a'r geifr yn meusydd y Dwyrain."

## Darlleniadau Detholedig.

### CREADIGAETH Y WRAIG.

Os gwnaed corff un o'r ddau ryw o well defnydd na'r llall, eiddo'r wraig a wnaed felly. Gwnaed corff Adda o'r pridd difywyd, ond corff Efa allan o gorff byw. Hi a ddaeth allan o ochr y dyn, a Duw a'i gwnaeth i lynu wrth ei ochr. Wedi cymeryd asgwrn oddiwrth y dyn, gan yr hwn yr oedd asgwrn yn ormod, efe a gauodd i fyny ei le â chnawd, tuag at dyneru ei natur. Ac efe a wnaeth y wraig o'r asgwrn hwnw, rhag iddi hi fod yn rhy feddal. Fel hyn gwnaeth y Creawdwr gyd-dymheredd hyfryd rhyngddynt, megys cynghanedd mewn peroriaeth, i gymhwys gydgordio. Yr asgwrn hwn, neu yr asen hon, a gymerwyd o ystlys y gŵr. Nid o'r pen, y rhan uchelaf o hono, am na wnaed y wraig i lywodraethu; ac nid o'r troed, y rhan iselaf, canys ni wnaed hi i fod yn gaethes i'w mathru;—nid o'r fynwes, o herwydd nid yw hi i fod o flaen y gŵr yn or-ogoneddus; ac nid o'r cefn, oblegid nid yw hi i gael ei gosod o'i ol yn ddirmygus. Eithr cymerwyd hi o'i ystlys, gan y trefnwyd hi i fod yn gymdeithyddes a chydradd iddo, i rodio gydag ef ochr yn ochr. Hi a gymerwyd oddi tan ei fraich, fel y byddai iddo ei hamddiffyn; ac nid ymhell oddiwrth ei galon, er mwyn iddo ei charu.

Nid yw y wraig oddiwrth hyn i feddwl myned yn hyf i ymawdurdodi; hi a gymerwyd o'r ystlys aswy, i ddangos ei bod hi yn sefyll mewn anghen am amddiffyniad, ac am hyfforddiad, oddiwrth ei gŵr. "Pen y wraig yw y gŵr." Yn hyn nid yw cyhoeddiad breninol Ahasferus yn gwahaniaethu oddiwrth ddeddf natur: "ar fod pob gŵr yn arglwyddiaethu yn ei dŷ ei hun." Yr oedd ieithwedd y Cardinal Wolsey, "Myfi a fy mrenin," yn annyoddefol yn y wladwriaeth; ac felly y mae bod y wraig yn dywedyd, "Myfi a fy ngŵr," yn beth anweddus yn y teulu. Gweddeiddiach oedd Mair fendigaid tuag at Joseph ei phriod, megys y mae Awstyn yn sylwi oddiar ei geiriau, "Dy dad a minnau yn ofidus a'th geisiasom di;" nid, Myfi a dy dad, ond, Dy dad a minnau. Y wraig a fyno fod gyda Mair yn y nefoedd, rhaid iddi roddi i'w Joseph ei hun ei le ar y ddaear. —*Thomas Adams*, 1633.

### GWERTHFAWROGRWYDD LLYFRAU DA.

RHODDWCH i'r Ysgrythyrau sanctaidd y flaenoriaeth bob amser; ac yn nesaf atynt hwy, darllenwch draethodau sylweddol, ysbrydol, a bywiog, y rhai rhagoraf am egluro a chymhwyso yr Ysgrythyrau. Nid yw ysgrifeniadau duwinyddion ddim amgen na phregethu yr efengyl i'r llygad, megys y mae'r llais yn ei phregethu i'r glust. Rhaid priodoli y rhagoriaeth i bregethu lleisiol am gynhyrfu'r serchiadau, ac am yr amrywiaeth a gyflwyna yn ol sefyllfa ac anghenion y cynnulleidfaoedd; yn y modd hwn y mae'r llaeth yn dyfod gynhesaf o'r fron. Ond mewn amrywiol ystyriaethau eraill, mae man-

tais fawr yn perthyn i lyfrau. Gellwch ddarllen pregethwr galluog, pan na bydd genych ond un lled wael i'w wrandaw. Nis gall pob cynnulleidfa gael y pregethwyr goleuaf a grymusaf; ond gall pob person unigol ddarllen llyfrau y pregethwyr mwyaf rhagorol. Gall pregethwyr fod ymhell oddiwrthynt, ond bydd eich llyfrau yn ymyl. Wedi cael llyfr, gellwch ei gadw yn ddigôst; a gellwch ddewis llyfr sydd yn ymdrin â'r mater y dymunech hyfforddiant yn ei gylch, pan nad ellwch ddewis mater pregeth y pregethwr. Nis gellwch gael y bregeth ond ar amser penodol; ond y mae'r llyfrau wrth law bob dydd a phob awr. Os anghofir y bregeth, dyna hi wedi ei cholli; ond chwi a fedrwch ddarllen y llyfr drosodd a throsodd nes meistroli ei gynnwysiad; ac os anghofiwch yr hyn a ddarllenasoch, dyna'r llyfr genych i'w ddarllen drachefn. Fel hyn y mae llyfrau da yn drugaredd fawr i'r byd, gan eu bod yn bregethau cartrefol, presennol, arosol, perthynol, a nerthol.—*Richard Baxter.*

---

### YSBRYD ANFADDEUGAR.

Y MAE'R Bibl yn siarad mewn modd byr a gonest iawn am y dyn sydd yn proffesu ei fod yn caru Duw, ac eto yn coleddu ysbryd anfaddeugar: "Os dywed neb, Yr wyf yn caru Duw, ac efe yn casâu ei frawd, celwyddog yw." Pe byddai cariad Duw atom ni, a'n cariad ni ato ef, yn egwyddor lywodraethol ein hymddygiad at ein cyd-ddynion, ni cheid ond ychydig iawn o le yn ein calonau i ddrwgdybiaeth, eiddigedd, casineb, ac ymddial. Gyda'r cariad hwn, ni chaem ddynion yn eglwys Dduw am flwyddyn gyfan heb siarad â'u gilydd, ac eto yn meiddio dyfod at fwrdd yr Arglwydd i wneuthur côf am y cariad y maent hwy yn ddyeithr iddo.

Nid yw cyfraith Crist yn caniatâu i ddyn fyw yn unig er ei fwyn ei hun. Ond y mae'r neb sydd o ysbryd anfaddeugar yn cymeryd ei lywodraethu gan ormod o duedd ato ei hun, a rhy fach o ofal am gysur eraill, i fod yn wir gristion. Y dyn a ymwrthyd â melusder cyfeillgarwch a thiriondeb, er mwyn cofio a dial rhyw hen gamwri, nis gall hwnw fod yn ddysgybl i'r Hwn a orchymynodd, "Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt, a gweddïwch dros y rhai a wnêl niwed i chwi, ac a'ch erlidiant." Buan y sylweddolid gweledigaethau yr Oes Auraidd, pe dilynid heddwch, a phed ymarferid maddeuant, a phe gweinyddid cymwynasgarwch, yn ol rheolau yr efengyl.—*Dr. Spring.*

---

### Y BRODYR A'R CHWIORYDD HYNAF.

Y MAE cyfrifoldeb y brodyr a'r chwïorydd hynaf mewn teulu, ac yn enwedig cyfrifoldeb y *cyntafanedig*, yn fawr yn wir. Edrychir i fyny atynt hwy gan aelodau ieuengaf y teulu fel esiamplau; ac y mae gan eu hesiampl ddylanwad mawr, a dylanwad mwy mewn rhai amgylchiadau na'r eiddo y tad neu'r fam; canys dyma esiampl rhai sydd yn fwy cydraddol â hwynt, yn nês atynt, ac yn fwy parhâus gyda hwy, na'u rhieni. Mae o bwys dirfawr, gan hyny, i'r rhai ieuengaf, pa fodd y ceir hwy yn ymddwyn. Os drwg a fyddant, gallant arwain y lleill ar gyfeiliorn; ac os da, gallant fod yn ddeniadol iawn i'w tywys i ddaioni. Mae y cymdeithion, y chwareuon, y llyfrau a fydd ganddynt hwy, yn sicr o effeithio ar y rhai ieuengach. Mae teuluoedd cyfan, mewn rhai amgylchiadau, wedi cael eu hyfforddi mewn camwedd gan un mab hynaf diegwyddor. Beth fydd gan y cyfryw frawd i ateb am dano yn nydd y farn? Ond mewn amgylchiadau eraill, cafwyd y brawd neu'r chwaer hynaf yn fendith odiaeth mewn teulu. Llawer mam glaf a nychlyd a fu yn bendithio Duw am ferch oedd yn fath o ail fam i'w brodyr a'i chwïorydd ieuengach; a llawer tad oedd yr un mor ddiolchgar am fod ei fab cyntafanedig, nid yn unig yn help iddo ef gyda thrafferthion masnach neu alwedigaeth, ond hefyd mewn hyfforddiant teuluaidd—yn ei esiampl hawddgar a chrefyddol yn llesâu ei frodyr oedd yn dyfod ar ei ol.—*John Angell James.*

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

MEWN gweithio neu frwydro dros Dduw, y dyn sydd yn gweled nad all efe wneuthur dim a alluogir i wneuthur pob peth.

Yn annheilwng fel yr ydym, nid oes neb yn deilwng o gael ein calon ond y Jehofah anfeidrol. Rhoddwn hi gan hyny iddo ef yn gyfan a thrwyadl.

Pwy bynag sydd yn gallu ei lywodraethu ei hun, dyna frenin ymysg meibion dynion.

Na roddwch eich crêd mewn dyn am ei fod yn gallu siarad yn dda. Mae'r call yn mynu gweled y sach wedi ei hagor cyn y pryno efe yr hyn sydd ynddi.

Y wyrth fwyaf yw yr hon sydd yn troi y gwaethaf i fod yn oreu—pechadur yn sant; gwyrth gras oddifewn i galon dyn.

Hollalluogrwydd yw bywyd Duw, sancteiddrwydd yw ei brydferthwch, a chariad yw ei ddedwyddwch.

Dichon mai hanfod pechod dyn yw rhoi y lle cyntaf iddo ei hun, ac nid i Dduw.

Mae bod y safn yn agored yn wastadol yn argoeli pen gwag. Nid yn llydan-agored o hyd y ceir y gist sydd yn cadw aur ac arian.

Pan y mae Duw yn bwriadu i greadur ehedeg, y mae yn rhoddi adenydd iddo; a phan y mae efe yn anfon dyn i fod yn bregethwr, efe a ddyry iddo ddoniau cymhwys.

Bydd dyn heb gael dim lles oddiwrth ei grefydd nes y caffo drwyddi ergyd farwol i hunan.

Y neb a wnelo ei hun yn asyn a gaiff bawb yn barod i'w farchogaeth.

Mae pobl o eneidiau culion yn debyg i botelau gyda gyddfau culion; po leiaf fyddo ynddynt, mwyaf o drwst a wnânt wrth ollwng hyny allan.

Pa dad neu fam sydd yn ddigon ffol i adael i'r plentyn, tra na byddo eto ond plentyn, ddewis drosto ei hun? Ac oni byddwn ninnau yn ddigon synwyrol i adael i'n Tad nefol, yr hwn a ŵyr beth sydd oreu, ac nad all wneyd ond sydd oreu, ddewis drosom ymhob amgylchiad?

Os bydd anhawsderau a phrofedigaethau yn amlhâu, amlhâwn ein gweddïau yn gyfatebol.

Gall y gŵr ennill llawer o arian, ond rhaid yw i'r wraig eu cadw.

Nid oes dim a ddeil heb ddarfod neu waethygu yn niwedd amser ac ymddrylliad y greadigaeth ond delw y Duw tragywyddol. Ar bwy bynag y ceir hono, bydded dlawd neu gyfoethog yn hyn o fyd, efe a fydd yn hapus a gogoneddus byth.

Yn gyffredin y mae pobl y tafodau hirion yn bobl y dwylaw byrion. Nid yn fynych y gwelir siaradwr mawr yn weithiwr mawr.

Nid oes eisieu *anfon* pechadur anedifeiriol i uffern; y mae efe yn *mynu myned* yno o hono ei hun.

---

# Barddoniaeth.

## YMWELIAD CYFAILL.

Ar ganol dydd rhyw ddiwrnod gwaith,
  Daeth cyfaill ar ymweliad;
Mae ef yn hŷn na'r bardd o gwrs,
  Mae 'n tynu at derfyniad
Oes faith, o ddefnyddioldeb pur,
  Yn nheyrnas Crist ei Geidwad.

Ei feddwl eto 'n fywiog sydd,
  I wneuthur rhyw ddaioni;
Ac er heneiddio, mae o hyd
  Yn para 'n llawn haelioni,
A'i ysbryd siriol sydd yn brawf
  O fywyd mewn goleuni.

Treuliasom oriau difyr iawn,
  Yn myned dros helyntion
Llu mawr o'n hen gydnabod gynt,
  Ac amryw hen gyfeillion
Nad oes yn aros erbyn hyn,
  Ond 'chydig o weddillion.

Olrheiniem hanes ambell un,
  Ar hyd yr hen gym'dogaeth,
Ac eraill dros y moroedd mawr,
  I wlad heb nemawr obaith
Eu gweled byth yn d'od yn ol,
  I leddfu dim o'n hiraeth.

Rhyw ambell un sy 'n awr i'w cael,
  Yr ochr yma i'r nefoedd,
A'r rheiny 'n myn'd yn brysur iawn,
  I waered at y dyfroedd
Sydd yn gwahanu y ddau fyd,—
  Cuddiedig gan y niwloedd.

Pa le mae Richard Humphreys gall,
  A Morgans wych o'r Dyffryn,
A Daniel Evans, addfwyn ŵr,
  A Griffith Williams, wed'yn,
A William Ellis heb ei ail?
  O 'nghalon! gollwng ddeigryn.

Trwy aml i ddeigryn chwarddai ef,
  Wrth adrodd eu helyntion;
Cyfoda 'i lais, siriola 'i wedd,
  Yn ngrym ei hen adgofion,—
Awgrymai fod rhyw bwysau yn
  Nyfodol ei obeithion,—

Pan gesglir eto atynt hwy
  Y nifer fach sy 'n aros,
Ac yntau hefyd yn eu plith,
  Yn nghanol gwlad y diddos,
A phawb pryd hyn yn berffaith ŵr
  Mewn deall, nid yn blantos.

Cael cymdeithasu gyda hwy,
  Mewn cyflwr perffeithiedig,
Ac uwchlaw pawb o honynt oll,
  A'i Geidwad croeshoeliedig,
Feddyliwn i, mai dyna a'i gwna,
  Am byth yn wynfydedig.

E. FOULKES JONES.

*Llansantffraid Glân Conwy.*

---

## GWEDDI.

Beth yw gweddi? Pwy sy 'n gwybod?
  Pwy esbonia hyn i mi?
Ai detholiad o ryw eiriau
  Coeth a destlus, aml eu rhi'?
Ai rhyw ystum ddefosiynol—
  Crymu pen a phlygu glin?
A oes eisieu, wrth weddïo,
  Cadw 'r corff mewn agwedd flin?

Ha, fy enaid, da y gwyddost
  Nad yw hyn, yn ngolwg Duw
Ond y corff, a hwnw 'n farw,
  Heb yr enaid ynddo 'n byw;
Gweddi ydyw enaid truan
  Ar ei Dduw yn codi ei lef,
Ac yn pwyso ar yr Iesu
  Am ei gadw ganddo ef.

Gruddfan enaid bron a suddo
  I waelodion uffern drist,
Ysbryd yn anadlu gobaith
  Yn anfeidrol aberth Crist,
Ysbryd truan, cystuddiedig,
  Dan ddylanwad Ysbryd Duw,
Yn ymbilio am faddeuant,—
  *Gwir* weddïo, dyna yw.

Er nad ydyw gweddi 'n fynych
  Ond ochenaid ddystaw, ddwys,
Mae yn allu llawer cryfach
  Na 'r holl ddeddfau mawr eu pwys;
Galwodd unwaith ar yr huan,
  Sydd â'r ddaear yn ei gôl,
Safodd yntau 'n ddychrynedig,—
  Bron a neidio yn ei ol!

Dichon gweddi daer y cyfiawn
  Fwy nag uffern ddrwg ei llun;
Hollalluog ydyw gweddi,
  Fel y Duwdod mawr ei hun;

Mae yn allu hynod nerthol
  I farweiddio pechod cas;
Arfer gweddi heb ddiffygio
  Sydd yn werthfawr foddion gras.

Arglwydd grasol, tywallt arnaf
  Ysbryd gweddi 'r fynyd hon,
Fel y byddwyf yn gweddïo—
  Nid rhagrithio—ger dy fron;
O na byddai f' enaid aflan
  Wrth weddïo yn cael blas,
Ac yn penderfynu peidio
  Ildio byth wrth orsedd gras.

R. CEINWENYDD OWEN.

*Liverpool.*

---

## SWN GWLAW YN Y GWYNT.

AR fore teg hyfryd, â'r wybren yn glir,
A'r haul yn adloni trigolion y tir,
A'r adar yn pyncio eu hodlau mewn cerdd
Tra natur yn gwisgo ei swynol wisg werdd,
Cychwynais yn nwyfus yn llawn o fwynhâd,
I daith o gryn bellder yn nghanol y wlad.
Yr awel sisialai yn nghangau y coed
Nes peri 'r beroriaeth felusaf erioed;
Y galon siomedig newidiai ei gwedd,
Bywiogrwydd iachusol feddiannai ei sedd,
Y blodau tlws chwarddent yn ngwyneb yr haul,
Ac yntau cusana fel plant bob yn ail,
Nes gadael yn amlwg ei ôl ar eu bôch—
Ysmotiau amryliw o wŷn ac o goch.
Ceid natur i gyd fel yn gweled ei llun
Y naill yn y llall, a chanmolai ei hun;
Ac nid oedd neb feïai am iddi hi wneyd;
Fel prawf o hynyna gadewch i mi dd'weyd
Fod pawb a'm cyfarfu yn cyfarch fel hyn,—
Gan droi oddiamgylch ac edrych yn syn,—
"Sut 'r ydych chwi heddyw? ond ydyw hi 'n brâf?
Mae 'n engraifft," dywedent, "nodedig o haf."
Cydunwn yn union i ddweyd yr un peth,
Heb ammeu yr unwaith fod hyny yn fêth.
Ond er yr holl ganmawl newidiwyd y dôn,
Am degwch y diwrnod fe däwyd â sôn;
Rhyw wreigan oedranus wrth dd'od ar ei hynt,
Ddywedai—"Mi glywaf sŵn gwlaw yn y gwynt."
Y wybren a dduodd yn gyflym uwch ben,
A'r haul a ymguddiodd dan gymyl y nen;
Teyrnasodd dwys brudd-der ymhobman yn awr,
A natur ogwyddodd ei phen fel i lawr
I ddysgwyl ystorm oedd ar dori cyn hir
I arllwys ei chynnwys ar wyneb y tir.
Mor syn oedd y newid, mor gyflym y bu,—
Y dydd oedd yn glaer wedi myned yn ddu!

Mae hyn yn ddrych gwanaidd o lawer llanc cûn
Sydd heddyw yn Nghymru, i weled ei lun.
Fe 'i magwyd yn dyner ar aelwyd lân glyd,
Cádd fam wir grefyddol yn siglo ei gryd,
A dysgwyd ef ganddi yn nechre ei oes
Yn fanwl mewn crefydd, mewn rhinwedd a moes.
Dadblygai ei allu a'i nodwedd di-ball,
A phawb a'i canmolai y naill wrth y llall.
Yn ngrym ei athrylith esgynodd o hyd
Am risiau anrhydedd, nes synu y byd;
Ond O er ein galar y llanc hoff a aeth
Heb wybod, i afael temtasiwn yn gaeth,
Pan gyda 'i gyfoedion ryw ddydd ar ei hynt.
Pa beth ydyw hyny? "Sŵn gwlaw yn y gwynt."
Awyrgylch ei fywyd a dduodd yn awr,
Ei uchel obeithion ddisgynent i'r llawr;
Aberthodd gymeriad a gaed gynt yn hardd,
Yn llawn o rinweddau fel blodau mewn gardd;
Aberthodd athrylith mor ddysglaer â'r nant,
Anrhydedd a phobpeth ar allor ei chwant.

W. LL. G. *(Isdulyn).*

*Llanfachreth.*

---

## CYFRYNGWR RHWNG DWYBLAID.

UN da abl rhwng dwyblaid—yw Iesu
  A asia 'n fendigaid;
Gras a phoen yr Oen oedd raid
Gyduno i gadw enaid.

W. H. ROBERTS.

*Penfras.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

---

### Y CANU CYNNULLEIDFAOL.

ANWYL SYR,—Dywedasom yn ein llythyr blaenorol ("Y Dechreuwyr Canu," tu dalen 223), ein bod yn cymeradwyo y cynllun o ymwelydd cerddorol. Diammheu genym y gwnai y cynllun ddaioni dirfawr, ond bod yn ofalus pwy a anfonir. Nid pob un sydd yn deall cerddoriaeth a all fod o les yn ei ymweliadau. Nid pob arweinydd a ddygwydda fod yn fuddugol mewn cystadleuaeth ychwaith a wna y tro. Mae yn rhaid i ni gydnabod fod hyn yn dechre llusgo i'n cynnulleidfaoedd, ac i'n cymanfaoedd canu cynnulleidfaol, yr un modd ag i'n heisteddfodau a'n cyfarfodydd cystadleuol, sef dewis un yn feirniad am fod y côr a arweiniai wedi bod yn fuddugol mewn eisteddfod flaenorol. Mae yr un peth yn awr yn cael ei wneyd gyda'r canu cynnulleidfaol. Ac aiff ymhellach—dewisir hwy i arwain y cymanfaoedd canu cynnulleidfaol, heb ddim rheswm mwy na'u bod yn arweinyddion corau.

Pwy a fuasai yn meddwl am roddi y cyfryw i bregethu, neu i gymeryd rhan mewn cyfarfod gweddïo, am eu bod yn gallu darllen, a thraethu yn llithrig ar fater neu faterion? Nid ydym yn dyweyd na ddylai y cerddorion goreu gael eu dewis i'r swydd, neu yr arweinyddion goreu, os bydd eu cymeriadau yn cyfateb. Ond os na fyddant, gwell eu gadael gyda'r côr, lle y gallant fod yn wasanaethgar, na'u llusgo i deml yr Arglwydd i aberthu â thân dyeithr, rhag ofn iddynt fod yn Achan

yn y gwersyll. O herwydd pa fodd y gall dynion nas gallant y ffordd i'r nefoedd eu hunain fod yn arweinyddion i eraill? Ac nis gall un na theimlodd erioed werth Ceidwad ganu yr hen bennill adnabyddus,—

"Dyma Geidwad i'r colledig," &c.,

yn ei ysbryd priodol; ac o ganlyniad nis gall fod yn arweinydd priodol i gynnulleidfa i ganu yr hen bennill anwyl. Neu pa fodd y gall y cyfryw ddeall ystyr yr emyn sydd yn dechre,

"Pa le, pa fodd dechreuaf
Foliannu 'r Iesu mawr?"

Ac felly nis gall fod yn gymhwys i arwain cynnulleidfa pan yn ei ganu. Fel hyn gwelir fod yn rhaid bod yn hynod o ofalus wrth ddewis yr ymwelydd, rhag ei fod yn achosi mwy o ddrwg nag o les, trwy fod yn dwyn y cynnulleidfaoedd yn fwy dideimlad a diystyr gyda'r canu—yr hyn a fyddai yn sefyllfa ofnadwy o ddifrifol—er i'r canu fod yn fwy cywrain a chelfyddydgar. Mae gormod o lawer o'r peth hwn yn cael ei lusgo i'r canu cynnulleidfaol yn awr, ar draul colli peth gwell, sef ysbryd priodol, a theimlad.

Na feddylied neb trwy hyn ein bod yn erbyn dwyn cymaint o gelfyddyd ag a ellir i'r canu cynnulleidfäol. Na, yn yr ochr wrthwynebol i hyn, yr ydym am gael y gelfyddyd oreu, uchaf, goethaf, a mwyaf manwl a ellir gael, i'r rhan yma o'r gwaith, ond i hyny gael ei wneyd yn deilwng, er mwyn y gwaith ac nid er mwyn y gweithiwr, er mwyn Duw ac nid er mwyn dyn, hyny yw, dwyn holl allu a choethder cerddorol y byd i ganolbwyntio yn nhŷ Dduw, yn ngwinllan y nefoedd, i geisio codi mynydd Sïon uwchlaw holl fynyddoedd y byd yn hyn, ac i wneyd ei fawl Ef yn ogoneddus, gan ganu caniadau Sïon yn "gerddgar a soniarus," nes y byddo yn hud-ddenu y miloedd i "dŷ mawl" yn lle i'r chwareudŷ, ac yn llanw temlau Arglwydd Dduw Israel yn lle temlau halogedig Bacchus. Iё, meddwn, dyma lle y dymunem weled holl allu cerddorol y byd yn canolbwyntio, a'i unig nôd ac amcan mewn rhoddi mawl i Dduw, ac yn canu o galon bur, "Nid i ni, O Arglwydd, ond i'th enw dy hun dod ogoniant." Ac os ydym yn meddwl yn gywir am y mil blyn yddoedd, i hyny y daw y pryd hwnw. Canys os ydyw holl deyrnasoedd y byd i ddyfod yn eiddo i'n Harglwydd ni a'i Grist ef, beth a wneir â'r gallu hwn os nad ydyw i ddyfod i'r eglwys? Nis gallwn feddwl y bydd yn peidio a bod. Ac wrth feddwl am dano, dychymygwn weled a chlywed y canu y pryd hyny. O ddyddiau hyfryd! O amseroedd dedwydd!

"O na wawriai 'r bore hyfryd,
O na ddeuai 'r dydd i ben,
Pan bo holl delynau 'r ddaear
'N moli 'r Hwn fu ar y pren."

Y pryd hwnw, bydd yr holl gelfyddyd a'r cywreinrwydd yn cael ei golli yn y mawl, yr holl ffurfioldeb yn cael ei lyncu yn yr ysbryd, yr allanol wedi ei anghofio gan y mewnol, yr amserol wedi ei golli yn y tragywyddol, y daearol yn y nefol, y dynol yn y meddwl am y Dwyfol. Mae gwir gelfyddyd bob amser yn colli ei hunan mewn naturioldeb, a gwir allu yn ymdoddi i symlrwydd. Felly yn y dyddiau dedwydd hyny, bydd pob enaid yn cael ei lanw â chariad Duw, a'i holl alluoedd yn cael eu sancteiddio, a'u dwyn yn iswasanaethgar i'r enaid hwnw i addoli Duw, fel mae yn awr gyda phob un sydd yn caru Duw, ac yn ei ofni Ef. Cawn ddyweyd rhagor ar hyn.

CERDDOR.

---

Y DECHREUWYR CANU.

MR. GOLYGYDD,—Byddwch mor garedig â gadael i r ychydig linellau hyn gael rhyw gongl tu fewn eich DRYSORFA. Darllenais bedwar llythyr yn y rhifynau sydd wedi myned heibio ynghylch caniadaeth y cysegr; dau o eiddo *Un o Feibion Asaph*, un o eiddo *Dechreuwr Canu*, ac un o eiddo *Cerddor*. Wrth ddarllen eu llythyron yr oeddwn yn cydymdeimlo â hwynt yn fawr, ac yn teimlo angen am ddiwygiad cyffredinol yn nghaniadaeth gynnulleidfäol yr adeg bresennol. Yr wyf wedi bod yn sefyll uwch ben y mater pwysig hwn er ys rhai blynyddau tuag at gael rhyw gynllun fel y gallo ein cynnulleidfäoedd ddysgu y tônau.

Dyma ddesgrifiad o honom ni yn A—— gyda chaniadaeth y cysegr. Pan byddo gweinidog ar ei dro ar y Sabboth, dyna efe yn rhoddi emyn ar ryw fesur anarferol—er engraifft, 6 4 8 7. Fe allai na bydd i'r mesur hwn gael ei roddi allan o'r pulpud am flwyddyn neu ddwy eto; ac wrth ganu y mesur uchod ni bydd ond y dechreuwr canu, a rhyw un neu ddau arall, yn ei chanu o gwbl. Mae yn wir ein bod fel ysgol gân wedi ei dysgu, ond wele hi wedi rhydu gan y gynnulleidfa. Mae rhai dynion mor anwybodus a meddwl os cânt arweinydd da y bydd raid fod y canu yn dda. Ond camgymeriad hollol yw hyn. Mae angen arweinydd da wrth gwrs; ond nid oes dim gwahanaeth pa mor fedrus fyddo y dechreuwr canu os na fydd y gynnulleidfa wedi dysgu y tônau. Ond y pwnc ydyw, Sut y mae cael y gynnulleidfa i ddysgu y tônau? Mae yn wir fod ysgol gân yn dda er ei dysgu; ond gyda ni, pan fyddo ysgol gân yn cael ei chyhoeddi, bydd rhai o'r ieuenctyd yn dyfod am dro neu ddau, ac yn y diwedd yn gadael yr arweinydd gyda rhyw ddwsin o blant bach. Yn awr yr wyf yn appelio yn uniongyrchol at y rhai sydd yn proffesu crefydd Mab Duw. Mae llawer o honom, fel y mae gwaethaf'r modd, yn meddwl nad oes eisieu dim ond myned a dyfod i'r capel, a bod yno yn ddigon. Na, mae cylch crefydd yn eang iawn. Mae ei lywodraeth Ef o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd derfynau y ddaear. Os ydych yn y winllan, gweithiwch â'ch holl egni, a gwnewch yr hyn a alloch. Nid allaf fi ddim canu, meddai un; nid allaf finnau ddim, medd y nesaf. Ha, llawn esgusodion i gyd! "Pob perchen anadl molianned yr Arglwydd," medd y Salmydd. Os na ellwch ganu, deuwch un i gadw y

plant yn dawel, a'r llall i roddi y pennillion i maes; mae digon o waith i chwi yn y winllan os yw'r ewyllys am ei wneyd. Yr wyf yn cydsynio â chynllun *Mab Asaph* ar i'r Cyfarfodydd Misol anfon arolygwr cerddorol o amgylch y dosbarth, tuag at gael gwelliant yn y canu, yn lle dibynu y cyfan ar ysgwyddau y blaenor canu. Hefyd byddai ambell gynghor o'r pulpud a'r sêdd fawr i'r gynnulleidfa yn llesol i'w cymhell hwynt i ddysgu y tônau, o herwydd fod dylanwad gweinidog neu flaenor yn myned ymhellach na dylanwad rhyw fachgenyn. Darllenais yn y *Gwladgarwr* yn ddiweddar am Gymanfa Gerddorol yr Annibynwyr Aberdâr, a sylwais yn neillduol ar adroddiad Mr. Dan Thomas ar berthynas yr eglwys â'r ysgol gân grefyddol. Dywedai, fod tuedd yn yr eglwys i adael yr ysgol gân i nifer o ieuenctyd, tra yr oedd corff yr eglwys yn hollol ddifater yn ei chylch, ond fod yn ddyledswydd bendant ar bawb i ganu mawl i'r Arglwydd. Hyn yw dymuniad

Un Profiadol.

*Gerllaw Caerdydd.*

---

LLADD A BWYTA CREADURIAID DIRESWM.

Syr,—Caniatewch i mi wneyd sylw ar un yn unig o gwestiynau *Brynddyn uwch Dyfrdwy* yn y rhifyn am fis Mai, tu dal. 187, sef y trydydd cwestiwn: "Pa fodd y mae yn gyson â daioni a chymwynasgarwch, ac felly âg iawnder a rhinwedd, fod creaduriaid direswm yn cael eu lladd er mwyn ymborth dyn?"

O'm rhan i yr wyf yn gweled *Brynddyn* yn myned yn rhy hyf gyda'r mater hwn. Os yw y Duw cyfiawn a da wedi rhoi caniatâd i ddyn ladd creaduriaid direswm er ymborth iddo, onid yw hyny yn ddigon i sicrhâu cysondeb y caniatâd hwnw "â daioni a chymwynasgarwch, ac felly âg iawnder a rhinwedd?" canys nid all y Bôd Anfeidrol wneuthur dim ond sydd dda ac uniawn. Dyna a ddywedodd yr Arglwydd wrth Noah ar ol y dylif, "Pob ymsymudydd yr hwn sydd fyw fydd i chwi yn fwyd; fel y gwyrdd lysieuyn y rhoddais i chwi bob dim."

Barn y Dr. Adam Clarke ar hyn ydoedd, fod gwendid corfforol, wedi ei achlysuro gan awyr a thywydd anwadal, a chan lafur maith a dygn, yn peri fod yn anghenrheidiol i ddyn gael ymborth mwy maethlawn nag a allesid gael oddiwrth lysiau, ac felly fod Duw yn ddaionus wedi cenadu iddo gig yn ymborth.

Gwelais yn rhywle fod Theodoret yn rhoddi yn rheswm am y caniatâd i fwyta cig anifeiliaid, fod y Jehofah mawr, oddiar ragweled y byddai dynion yn dueddol i addoli ei greaduriaid, yn lle ei addoli ef ei hun, am ddangos y gwrthuni a'r cywilydd oedd yn hyny yn eu gwaith yn bwyta wrth y bwrdd yr un peth ag a aberthent ar yr allor, gan nad allasai dim fod yn ffolach nag i ddyn addoli y peth y byddai efe yn ei fwyta!

Ond, pa fodd bynag am hyny, gallwn i feddwl fod ein Creawdwr yn hyn yn dangos ei dosturi a'i gymwynasgarwch at ddyn pechadurus wedi i'r ddaear gael ei melldithio o herwydd ei gamwedd. Yn nghyfnod diniweidrwydd, os nad i fesur mawr yn yr holl dymmor cynddiluwiaidd, yr oedd y ddaear yn rhoi ei ffrwyth yn rhwydd a helaeth, mewn cymhariaeth i'r anhawsder a phrinder ei rhoddiad o ffrwyth bwytadwy ar ol hyny; ac i wneyd i fyny am hyn, wele y Goruchaf yn dirion yn rhoi cenad i ddyn ddefnyddio trwy laddedigaeth bob creadur direswm y gellid ei fwyta.—Ydwyf, &c.,

O. Glan Wnnion.

---

# Y Wasg.

Studies in the Gospel according to St. Matthew. *By the Rev.* J. Cynddylan Jones. 1881.

Studies in the Acts of the Apostles. *By the Rev.* J. Cynddylan Jones. Second Edition.

London: Hamilton, Adams & Co., and Others. 1882.

Daeth yr argraffiad cyntaf o'r *Studies* yn yr Actau allan o flaen y *Studies* yn Efengyl Matthew; ond gan mai Matthew yw y cyntaf o ran amser a threfn, ac mai yr ailargraffiad o'r Efrydiau yn yr Actau sydd ger ein bron, pa argraffiad a gyhoeddwyd ar ol yr un yn Matthew, gosodasom yma Matthew yn gyntaf.

Gwelir mai nid esboniad rheolaidd ar Matthew, nac ar yr Actau, yw yr hyn a geir yma, eithr yr hyn a eilw yr awdwr yn *studies*, efrydiaethau neu astudiaethau ar ranau penodol ac arbenig ynddynt, a hyny mewn ffurf o bregethau; dwy ar bymtheg o'r cyfryw yn Matthew, a phymtheg yn yr Actau, ond y rhai hyny yn cynnwys cymaint o ddarlleniad â'r lleill. Y materion oddiwrth Matthew ydynt,—Iesu Grist yn Ganolbwynt Hanesyddiaeth—Athroniaeth a'r Baban—Ioan Fedyddiwr—Temtiad Crist—Iesu Grist fel Dysgawdwr Cyhoeddus—Iesu Grist fel Deddfwr Moesol—Cyfiawnder yr Efengyl—Pryder—Cyffyrddiad Ffydd—Gwrandawiad y Gair—Dammeg yr Efrau—Crist yn y Dymhestl—Mab Dyn a Mab Duw—Sylfaen yr Eglwys—Y Gweddnewidiad—Y Farn—Yr Awdurdodiad (*Commission*) Mawr. Ac yn yr Actau y cawn, Nerth o'r Uchelder—Dydd y Pentecost—Y Gŵr Cloff wrth Borth y Deml—Erlidigaeth Gyntaf yr Eglwys—Dysgeidiaeth Apostolaidd—Diacon-

iaid—Y Merthyr Cristionogol Cyntaf—Temlau Duw—Phylip a'r Efnuch—Cymeriad St. Paul—Dorcas—Cynnwysfawredd yr Efengyl—Yr Eglwys yn Antiochia—Tröedigaeth Lydia—Y Duw nid adwaenir. Mae'r materion fel hyn yn bwysig, dyddorus, ac adeiladol, ac yn cael eu gosod allan yn eglur a grymus. Mae gan ein cyfaill Mr. Cynddylan Jones, fel y gŵyr pawb a'i gwrandawodd, ddull neillduol iddo ei hun, sydd ar unwaith yn ddesgrifiadol, cyfeiriol, ac ymddyddanol, gan afaelu yn mhen a chalon y darllenydd. Cawn yr adolygiadau Seisonig yn rhoddi y canmoliaethau uchelaf i'r ddau lyfr. Yr *Homilist* a ddywed, "Mae yr awdwr yn meddwl drosto ei hun, yn taro allan i'w lwybrau ei hun, ac yn rhodio ar ei ben ei hun gyda cham annibynol; nid yw yn pwyso ar fraich neb arall. Yr ydym yn llawenhâu oddiar weled oddiwrth y gyfrol hon fod gan Gymru eto bregethwyr o feddwl gwreiddiol, brwdfrydedd angerddol, a hyawdledd cynhyrfiol." Ac medd y *Methodist Recorder*, "Nid ydym yn cofio erioed i ni gyfarfod â chymaint o amaethiad, newydd-deb, gallu, cyffröad, a thân mewn cân lleied o le." A gallasem ddyfynnodi deg neu ddeuddeg yn ychwaneg o gyffelyb ganmoliant. Yn ddiau, ynte, gellir yn rhesymol ddysgwyl i Gymru—pawb sydd yn deall Saesoneg—fynu darllen gwaith un o'i phlant ei hun, a fawr ganmolir yn Llundain a Lloegr.

Y mae'r Cymry wedi cyfyngu eu hathrylith yn ormod i'w hiaith eu hunain; a da genym weled ein brawd o Gaerdydd yn dyfod allan fel hyn i estyn pethau da i bobl "yr iaith nesaf atom," sef nesaf fel cymydoges, a'i fod yn parotoi eto *Studies in St. John.* Gyda boddhâd neillduol y clywsom fod Esboniad Seisonig ar yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid ymron yn barod i'r wasg gan un o'n brodyr sydd yn enwog fel Ysgolor ac Athraw a Phregethwr. Nis gallwn lai nag edrych ar hynyma yn arwydd er daioni, nid yn unig i'n Cyfundeb, ond i'n cenedl; a hyderwn y bydd brodyr galluog eraill yn dilyn eu hesiampl.

---

GEMAU BARDDONOL: *sef Cywyddau, Penillion, ac Englynion Buddugol. Gan* ROBERT KYFFIN *(Ap Cyffin), Manchester.*

Salford: John Roberts, Chapel Street. 1882.

Y MAE llawer iawn o'r cyfansoddiadau yn y llyfr hwn yn rhai a farnwyd yn fuddugol mewn Eisteddfodau a Chyfarfodydd Cystadleuol, ac yn werth eu darllen a'u hastudio gan bawb a hoffant weithoedd barddonol. Buasai yn dda genym roddi dyfyniadau o hono; ond y mae ein gofod y tro hwn yn gwahardd hyny, gyda'r eithriad o'r pennill olaf yn y gân gyntaf sydd ynddo, a enwir "Cartref y Gweithiwr:"

"Wrth orsedd Duw mae 'r gweithiwr tlawd
Yn frawd i'r ymherawdwr,
A'i fŵth yn gystal gorsedd gras
A drudfawr blâs boneddwr."

Heblaw derbyn daioni, bydd y neb a bryno y *Gemau* hyn yn gwneuthur daioni; o herwydd ni a gawn fod "yr holl elw oddiwrth y llyfr hwn i fyned tuag at ddileu dyled capel newydd Pendleton, Manchester." A phwy a warafuna swllt i'r cyfryw berwyl canmoladwy?

---

*Traethawd Pum' Gini* AR LWYRYMWRTHODIAD A'R DIODYDD MEDDWOL. *Buddugol yn y Bala, Nadolig,* 1881. *Gan* T. TOTAL *(y Parch.* EVAN JONES, *Pentrecelyn, Rhuthyn).*

Bala: Edward Jones. 1882.

Y WOBR, "pum' gini," a roddwyd gan "Demlwyr Da" y Bala, mewn cysylltiad â Phwyllgor Cyfarfod Llenyddol a Cherddorol Penllyn; ac o saith o gyfansoddiadau a dderbyniwyd ar y testun, "Llwyrymwrthodiad â'r Diodydd Meddwol," yr eiddo *T. Total*, sef y Parch. Evan Jones, a farnwyd fel yr un mwyaf rhagorol.

Mae yn trin y mater yn helaeth a chynnwysfawr, mewn deunaw o bennodau, gan arfer iaith eglur a chref, a seilio ei osodiadau ar ffeithiau diammheuol. Dywed yn y dechre,

"Yr hyn yr amcanwn ei wneyd yn y tudalenau canlynol yw, dangos rhagoriaeth yr egwyddor o lwyrymwrthodiad â'r diodydd meddwol ar bob gradd o ymwneyd â hwy, serch i hyny fod mewn mesur a ystyrir yn gyffredin yn ymarferiad cymedrol. Ceisiwn wneyd hyny yn benaf trwy ddangos y niwed y mae'r diodydd meddwol yn ei achosi ymhob cylch, hyd yn nôd ag ymarfer â hwy mewn cymedroldeb."

Ac y mae yr awdwr, yn ddiau, yn cyflawni ei amcan yn y modd mwyaf effeithiol.

Am chwech cheiniog, ceir yma gyflenwad da o ddefnyddiau areithio yn nghyfarfodydd y Temlwyr Da, Byddin y Ruban Glâs, a'r holl gynnulliadau Dirwestol. Traethawd gwych ydyw tuag at ennill rhai o'r newydd i'r ffydd wrth-alcoholaidd, a chadarnhâu y rhai sydd eisoes yn y ffydd.

**Caniadau y Fyddin,** *sef Caneuon ac Emynau Dirwestol, at wasanaeth y* Bands of Hope *a Byddin y Ruban Glas. Gan* Thomas Charles, *Coed poeth.*

Coedpoeth (gerllaw Wrexham): Thomas Jones. 1882.

Mae'r caneuon hyn yn rhai bywiog ac ysbrydlawn, ac yn gwbl gymhwys i'r amcan eu bwriedir. Ceir hwynt, gan mwyaf, wedi eu trefnu at dônau deniadol "Sŵn y Jubili." Hyderwn y defnyddir y geiniogwerth hon yn dra chyffredinol yn y tymmor hwn o ymadnewyddiad gyda yr achos Dirwestol yn ei amrywiol ffurfiau. Mae yr awdwr yn bregethwr cymeradwy yn ein Cyfundeb, gan berthyn i Gyfarfod Misol Sir Fflint

---

**Hanes Dechreuad a Chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd yn Mhlwyfydd Llanllechyd a Llandegai,** *gan* R. O., *awdwr "Hanes y Traethodydd."*

Bangor: Evan Williams. 1882.

Y mae yr *initials*, fel y dywed y Sais, ac yn Gymraeg, hwyrach, y rhaglythyrenau, "R. O.," yn lled hysbys i ddarllenwyr y newyddiaduron Cymreig mewn cysylltiad âg adroddiadau am bentref neu dref a chymydogaeth Bethesda yn Arfon, ac i'r wlad am ei lafur yn cael allan ac yn cyhoeddi enwau awduron traethodau y *Traethodydd.*

Yn awr dyma lyfr swllt o'i waith casglyddol, yn rhoddi "hanes dechreuad a chynnydd y Methodistiaid Calfinaidd yn mhlwyfydd Llanllechyd a Llandegai," lle y cymerir i mewn yr adroddiad am gapelau y Carneddi, Llanllechyd, Gatehouse, Pen y groes, Jerusalem, Ty'n y maes, Hermon, Brynteg, a'r Gerlan, a phob amgylchiad o bwys ynglŷn â hwynt, yn ol fel y gallasai yr heliwr dyfal eu casglu ynghyd. Cawn enwau lliaws o bregethwyr, byw a meirw, gyda gair o ddesgrifiad o honynt, gan mwyaf yn ganmoliaethol, a chyfeiriadau at eraill, heb fod yn bregethwyr, oedd yn hynod mewn crefydd. Tra y mae yr hanes hwn yn rhwym o fod yn ddyddorol iawn i'n cyfeillion yn y plwyfydd dywededig, nis gall lai na bod yn flasus hefyd i laweroedd allan o'r cylchoedd hyny; canys y mae gweithgarwch pobl chwarelau Arfon a Meirion gyda chrefydd, yn y wedd Fethodistaidd arni, yn rhoddi addysg ac esiampl dda i holl Fethodistiaid Cymru.

---

**Hanes Crefydd yn Treuddyn.** *Gan* Robert Roberts. *Buddugol yn Eisteddfod Treuddyn, Nadolig,* 1881.

Yr Wyddgrug: T. Yorke. 1882.

Un o flaenoriaid y Methodistiaid yn Nhreuddyn, neu Tryddyn, tua phedair milldir o'r Wyddgrug, yw awdwr yr hanes hwn; a phawb sydd yn ei adwaen ef a adnabyddant ei nodweddion yn ei ysgrifen.

Mae yn rhoddi y lle cyntaf yn yr hanes i "Eglwys y Plwyf," a'r ail, a'r mwyaf, fel y gallesid dysgwyl, i'w enwad ei hun, ac yna i'r Wesleyaid, ac wedi hyny i'r Annibynwyr a'r Bedyddwyr; ac y mae yn hyny yn dilyn trefn amseryddol cychwyniad yr enwadau hyny yn yr ardal. Y Parch. George Jones, Nerquis, beirniad y gystadleuaeth ar y testun, a ddywed am y traethawd buddugol hwn,—"Tybiwyf fod iaith ac arddull yr awdwr yn myned yn bell i ddangos i ba enwad neillduol y perthyna ef ei hun; ond bydd yn hawdd i bawb a ddarlleno ei draethawd gydnabod y bu yn hynod ofalus i roddi i bob enwad y lle a deilynga yn yr hanes. Nid ydyw, fel rhai, wedi ei ddallu gymaint gan ragfarn plaid fel ag i'w rwystro i allu canfod y da a'r rhinweddol mewn enwadau eraill yn gystal a'i enwad ei hun. Crybwylla enwau amryw frodyr ymadawedig anwyl a pharchus o bob enwad; a gwna sylwadau doeth a tharawiadol am danynt, gan osod allan nodweddau a neillduolion pob un." A'r dystiolaeth hon sydd wir. Prin y gellir cael am dair ceiniog ddim yn fwy difyr ac addysgiadol i'w ddarllen na'r hanes hwn.

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA PONTARDAWE.

MAI 23, 24, A 25, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. WILLIAM WILLIAMS, Abertawy.

DYDD MAWRTH, Y 23AIN.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 6 o'r gloch.*

I. Cymerwyd enwau y cynnrychiolwyr.

II. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol:

*O Ogledd Aberteifi:*—"Ein bod yn dymuno cael mwy o eglurhâd ar y gwahaniaethau pwysig sydd wedi ymddangos, o dro i dro, yn y *Statement* a wnaed o'r swm sydd yn perthyn i Gronfa Athrofa Trefecca."—THOMAS EDWARDS, *Ysg.*

*O Sir Frycheiniog:*—"Ein bod, fel Cyfarfod Misol, yn dymuno galw sylw y Gymdeithasfa at benderfyniad a basiwyd yn Nghymdeithasfa ddiweddaf y Gogledd, o barth i ddiogelu pob cofnodau a manylion hanesyddol ynglŷn â'r Cyfundeb; ac yr ydym yn dymuno ar y Gymdeithasfa yn y dalaeth hon i basio penderfyniad i'r un perwyl."—REES DAVIES, *Ysg.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—"Penderfynwyd, ar gais Dosbarth Merthyr, ein bod yn cyflwyno Mr. D. J. Lewis, Graig, Merthyr, i'r Gymdeithasfa nesaf, fel un i gael ei ordeinio y flwyddyn hon."—W. J. WILLIAMS, *Ysg.*

*O Orllewin Morganwg:*—1. "Ein bod yn annog y Gymdeithasfa i ddadgan ei chydymdeimlad â'r teuluoedd parchus sydd yn dyoddef ynglŷn â'r gyflafan erchyll a gyflawnwyd ar Arglwydd Cavendish a Mr. Burke, yn yr Iwerddon, Mai y 6ed. 2. Ein bod yn dymuno ar y Gymdeithasfa i gefnogi Abertawy fel lle manteisiol i adeiladu y Coleg Uwchraddol i Gymru."—WILLIAM HOWELL, *Ysg.*

*O Sir Fynwy:*—"1. Cymeradwywyd cais yr Eglwys yn Libanus, Brynmawr, i gael y Gymanfa Gyffredinol am 1883. 2. Ein bod yn awgrymu i'r Gymdeithasfa y priodoldeb o gyflwyno achos y '*Charitable Trusts Incorporation Act*' i sylw y Gymanfa Gyffredinol, ynghyd a dymuniad ar fod i'r mesurau angenrheidiol gael eu harfer er cael yr *Act* wedi ei diwygio er mantais i'r Cyfundeb yn gyffredinol."—W. GRIFFITHS, *Ysg.*

III. Penderfynwyd cyflwyno y cais o Gyfarfod Misol Dwyrain Morganwg i ystyriaeth Cyfarfod y Blaenoriaid.

IV. O berthynas i'r genadwri o Gyfarfod Misol Gogledd Aberteifi, penderfynwyd ein bod yn peidio myned i mewn i'r mater nes y daw yr Adroddiad Cyffredinol allan, yr hwn sydd yn awr yn barod i'w argraffu.

V. Cymerwyd i ystyriaeth y genadwri o Gyfarfod Misol Brycheiniog, a phenderfynwyd fel y canlyn:—"Annogir y Cyfarfodydd Misol i gadw cofnodau o'u holl weithrediadau, i fod yn eiddo parhâus iddynt, a bod annogaeth yn cael ei rhoddi i'r holl eglwysi gofnodi y prif ddygwyddiadau yn eu hanes hwythau."

VI. Penodwyd brodyr i dynu i fyny benderfyniad yn dadgan teimlad y Gymdeithasfa yn ngwyneb y gyflafan erchyll a gyflawnwyd yn Dublin ar y 6ed cyfisol.

VII. Cymerwyd i ystyriaeth leoliad y Coleg Uwchraddol i Gymru y bwriedir ei sefydlu gan y Llywodraeth yn Sir Forganwg; ac ar ol ymddyddan pwyllog ar y cwestiwn, penderfynwyd ein bod yn barnu mai Abertawe yw y lle mwyaf cyfleus i hyny, ac awdurdodwyd y Llywydd i arwyddo deiseb i'r perwyl hwnw i'w hanfon at y Llywodraeth. Ynglŷn â hyn penderfynwyd hefyd, ein bod yn anfon at Llywydd ac Is-Lywydd y Cynghor Addysg i erfyn arnynt wneuthur pob brys dichonadwy i gario allan gynnygiadau ac awgrymiadau y Ddirprwyaeth sydd wedi bod yn chwilio i mewn i sefyllfa Addysg yn Nghymru.

VIII. Cadarnhäwyd y cais o Sir Fynwy am y Gymanfa Gyffredinol yn 1883. Penderfynwyd hefyd dwyn y "*Charitable Trusts Incorporation Act*" i sylw y Gymanfa Gyffredinol yn y Bala.

IX Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol ar achos y Gymdeithas Genadol Gartrefol.

Mewn Cyfarfod o'r Cyfeisteddfod a benodasid yn Nghymdeithasfa Dowlais, i gymeryd i ystyriaeth achos y Gymdeithas Genadol Gartrefol, a gynnaliwyd yn Festri y Trinity, Abertawe, ar yr 22ain o Fai, 1882, pan yr oedd yn bresennol y Parch. J. Rees Owen, Penfro; R. J. Davies, Ysw., Cwrtmawr; a'r Cynnullydd, cyttunwyd ar yr adroddiad canlynol i'w osod ger bron y Gymdeithasfa. Cychwynodd y Gymdeithas ar y flwyddyn oedd yn dechre Awst 1af, 1879, gyda gweddill mewn llaw o £156 2s. 1c., a gorphenodd y flwyddyn a derfynai ar yr 31ain o Gorphenaf, 1881, mewn dyled i'r Trysorydd o £449 12s. 7c. Fe welir felly bod ei threuliadau am y ddwy flynedd yn fwy na'r derbyniadau o £605 14s. 8c.; ac y mae hyny yn bod, nid o achos lleihâd yn yr olaf, ond oblegid ychwanegiadau dirfawr at y cyntaf. Fe allai mai ychydig sydd wedi sylwi i ba fesur y mae yr ychwanegiadau hyny yn ddyledus i waith y Cyfeisteddfod yn myned tu hwnt i derfynau cyntefig y Gymdeithas i estyn cymhorth i leoedd fel y canlyn:—1. Hen achosion ag oeddynt unwaith wedi bod yn gryfion, ond

oblegid cyfnewidiadau yn yr ardaloedd y perthynent iddynt wedi syrthio i wendid.—2. Achosion newyddion, mewn cymhariaeth, wedi eu sefydlu mewn ardaloedd lle yr oedd gweithfeydd yn agoryd, a lle y dysgwylid cynnulliadau poblogaidd, ond oblegid methiant neu arafwch y cyfryw weithfeydd, y dysgwyliadau yn troi yn siomedig, a'r brodyr oeddynt wedi anturio i adeiladu capelau yn cael eu gadael o dan feichiau y rhai nas gallent symud danynt heb gymhorth. Y mae yr holl achosion hyn yn cael eu dwyn yn y blaen yn yr iaith Gymraeg, ac oll o fewn terfynau Deheudir Cymru. Y maent wedi derbyn o gyllid y Gymdeithas yn ystod y ddwy flynedd o dan sylw, £305 15s., neu ychydig geiniogau aros ben yr hyn y mae treuliadau y Gymdeithas wedi bod yn fwy na'i derbyniadau am yr un amser. Heblaw hyn y mae £100 wedi eu rhoddi am yr un amser at Achosion Cymreig yn Ngogledd Lloegr; ac y mae rheswm dros ystyried ymdrechion i gyflenwi ein cydgenedl, sydd yn byw ymhlith dyeithriaid, â moddion gras yn eu hiaith eu hunain, fel ymdrechion Cenadol; ond nis gellir galw y mwyafrif mawr o'r achosion y cyfeiriasom atynt mewn un ystyr yn Achosion Cenadol; ac y mae dau beth yn ei wneuthur yn annheg iddynt gael eu gadael i dynu ar adnoddau y Gymdeithas hon:—1. Y mae rhai o'r Siroedd sydd yn cyfranu yn haelionus tuag at y Gymdeithas yn cynnorthwyo achosion o'r fath sydd yn eu plith eu hunain. 2. Y ddadl fawr a ddefnyddir wrth gasglu at y Gymdeithas yw, yr anghenrheidrwydd sydd am ddarparu ar gyfer lledaeniad yr iaith Saesoneg yn ein plith; ond y mae yn anmhosibl gwneuthur hyny yn effeithiol tra y byddo mwy nag un ran o dair o'r casgliadau yn myned i gynnorthwyo achosion Cymreig. Nid ydym yn ystyried y byddai yn ddoeth nac yn ddiogel gwneuthur cyfnewidiad mawr yn ddisymwth; ond beiddiwn awgrymu i'r Gymdeithasfa y priodoldeb o gymeryd mesurau mor fuan ag y byddo yn bosibl i droi holl adnoddau y Gymdeithas at eu hamcan cyntefig. Y mae yr holl achosion Seisonig a gynnorthwyir yn achosion cenadol, ond nid yw yr olwg ar rai o honynt yn gyfryw ag i roddi boddlonrwydd. Y mae amryw o honynt bellach yn hen iawn, ond yn parhâu mor weiniaid fel nad oes mwy o obaith y deuant yn hunangynnaliol nag oedd ugain mlynedd yn ol. Gallai wneuthur lles pe byddai y Cyfeisteddfod yn cadw llywodraeth ar y gorsafoedd yn fwy yn ei law ei hun. Y mae rhai o honynt mor annibynol i bob amcan ymarferol â phe byddent yn byw arnynt eu hunain. Credwn y gallem roddi adgychwyniad nerthol i'r Achos pe gofynai y Gymdeithasfa i'r Goruchwyliwr dalu ymweliadau mynych â'r gorsafoedd i edrych i'w hansawdd, er rhoddi adroddiadau am danynt, i gadarnhâu yr hyn sydd wan, a chyflenwi yr hyn sydd ddiffygiol, ac aros ar rai o honynt, pan fyddo hyny yn gyfleus, am ychydig ddyddiau i gynnal moddion adfywiadol, er cyfnerthiad i'r Cenadau, a deffroad i'r bobl y maent yn llafurio yn eu plith. Yr ydym yn gosod yr awgrymiadau hyn o flaen y Gymdeithasfa, gan hyderu y bydd iddi chwanegu at nifer y cyfeisteddfod presennol, neu enwi un newydd, a rhoddi i'r pethau yma yr ystyriaeth mwyaf trwyadl a difrifol, ac i ddwyn eu hadroddiad i'r Gymdeithasfa mor fuan ag y gallont.—W. WILLIAMS, *Cynnullydd.*

Penderfynwyd i'r Adroddiad uchod fod dan ystyriaeth pellach y Gymdeithasfa, a'n bod yn dymuno ar y Cyfarfodydd Misol dalu sylw arbenig iddo, a bod y Cyfeisteddfod presennol i barhâu yn eu swydd.

DYDD MERCHER, Y 24AIN.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 8 30 o'r gloch.*

I. Cafwyd adroddiadau y Siroedd mewn perthynas i Drysorfa y Gweinidogion, y rhai oeddynt yn rhoddi lle cryf i hyderu y gorphenir y gwaith erbyn Cymdeithasfa Awst; a darllenwyd y genadwri ganlynol oddiwrth y Cyfeisteddfod Gweithiol:—

Dymuna y Cyfeisteddfod Gweithiol hysbysu fod y rhan fwyaf o'r Siroedd wedi anfon symiau da i fewn tuag at y Gronfa, a bod rhai o'r Siroedd yn anfon eu harian i'r Trysorydd Cyffredinol fel y deuant i law; ond y mae cannoedd lawer, os nad rhai miloedd o bunnau, yn aros yn nwylaw y Trysoryddion Sirol; ac y mae y Cyfeisteddfod yn gofyn gan y Gymdeithasfa i daer erfyn ar yr holl swyddogion anfon yr arian mewn llaw i Mr. David Jenkin Davies, Great Darkgate Street, Aberystwyth, fel y gallo efe eu gosod allan. Dymuna y Cyfeisteddfod hefyd ar fod y Gymdeithasfa, yn gryf ac yn wresog, yn annog yr holl Gyfundeb yn y Deheudir i ymorchestu yn egnïol gyda hyn hyd Gymdeithasfa Awst, gan fod argoelion tra gobeithiol, os nad sicrwydd, y llwyddir i gyrhaedd yr amcan mewn golwg."—WILLIAM EVANS, *Ysgrifenydd.*

Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa yn llawenhâu yn fawr yn ngwyneb fod yr adroddiadau o'r Siroedd yn rhoddi lle mor sicr i obeithio y daw yr holl arian i mewn erbyn Cymdeithasfa Awst, a'n bod yn dymuno ar y Trysoryddion Sirol i anfon yr holl symiau y maent wedi eu derbyn i law y Trysorydd Cyffredinol yn ddioed.

II. Cafwyd adroddiad y Cyfeisteddfod a benodwyd gan y Gymdeithasfa o'r blaen i ystyried beth ellir wneyd tuag at osod y Fugeiliaeth ar well tir yn ein plith, a thuag at symud ymaith y ddyled drom sydd ar ein Capelau yn rhai o'r Siroedd, ynghyd a chynnydd y Cyfundeb yn gyffredinol; a phenodwyd y brodyr canlynol, oll o Abertawe a'r gymydogaeth, i gymeryd y cwestiynau hyn i ystyriaeth pellach, a dwyn eu hadroddiad i Gymdeithasfa Hydref: Y Parchn. W. Williams, D. Phillips, D. Saunders, T. Davies, E. Thomas, W. S. Davies, D. Anthony, M. Morgan, W. Jones,

T. Richards, a D. Thorn Evans; Mri. T. Phillips, Dr. Davies, Dl. Davies, W. Williams, T. Beddoe, T. Jones, Babell, M. L. Bevan, D. Thomas, Maesgelynen, T. Harries, W. Davies, a T. Phillips, ieuengaf.

III. Galwyd sylw at y Drysorfa Gynnorthwyol, a phenderfynwyd gohirio ystyriaeth o'r mater hyd Gymdeithasfa Hydref. Dymunir ar i'r Cyfarfodydd Misol, yn y cyfamser, dalu sylw i'r Rheolau fel y maent wedi ymddangos yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Cwmafon, Mawrth, 1880.

IV. Rhoddwyd rhybudd y bydd anghen penodi lle yr Arholiad Cymdeithasfaol nesaf, yn Nghymdeithasfa Awst Hyderir y bydd rhyw le cyfleus yn barod i'w dderbyn.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am 11 o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr cafwyd ymddyddau buddiol iawn ar y mater canlynol: "Yr anghenrheidrwydd sydd i Bregethwyr y Gair ddefnyddio pob cyfleusdra o fewn eu gallu i wneuthur daioni i achos crefydd, yn gartrefol a chyffredinol, yn ein plith." Hyderir y bydd y sylwadau rhagorol a wnaed yn foddion i'n cyffroi i weithgarwch adnewyddol.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 1 o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Aberteifi, Awst 1—3; cyfarfod cyntaf y Cyfeisteddfod i fod prydnawn dydd Mawrth, y 1af, am 3 o'r gloch.

II. Cafwyd hanes manwl a thra dyddorol am yr achos yn Ngorllewin Morganwg, gan y Parchn. W. John, D. Phillips, a Ll. Llewellyn. Dangosai yr adroddiad fod ychydig o leihâd yn rhifedi yr aelodau eglwysig, ac fod y ddyled ar y capelau wedi myned yn fawr iawn erbyn hyn—agos i *ddeugain mil;* ond ofnid yn fwy na dim, er yr holl weithgarwch sydd yn bod, ein bod yn ceisio cario yr achos ymlaen *heb Dduw.* Wrth fod un o'r brodyr uchod mewn teimlad dwys yn gwneyd y sylw, "Fod cario yr achos ymlaen heb Dduw yr un fath â ffarmio heb haul ac heb wlaw," disgynodd rhyw ddylanwad anorchfygol ar y cyfarfod, fel nas gellid gwneyd dim, am beth amser, ond diolch i'r Arglwydd am dano.—Gwnaethpwyd yn ganlynol sylwadau rhagorol ar yr adroddiad, yn dangos y dylem fyned â mater y ddyled at Dduw yn ein gweddïau, ac fod yn rhaid, er cadw a meithrin y dychweledigion, cael gofal neillduol am yr eglwysi, ac y dylid hefyd yn Morganwg ddeffroi i fwy o ddarpariaeth ar gyfer cynnydd yr iaith Saesoneg.

III. Darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

Cymeradwywyd y cais o Gyfarfod Misol Dwyrain Morganwg, sef fod D. J. Lewis, Graig, Merthyr, i gael ei ordeinio yn y Gymdeithasfa nesaf. A dymunir sylw y Gymdeithasfa at y priodoldeb o ddal at y Rheol, "Fod enwau y brodyr a gynnygir gan y Cyfarfodydd Misol i'w hordeinio i gael eu cyflwyno i Gymdeithasfa y Gwanwyn." Cafwyd rhydd-ymddyddan ar "Dyledswyddau Diaconiaid."—R. J. Davies, *Ysg.*

IV. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y Cyfeisteddfod ar y cenadwriaethau o Gyfarfodydd Misol Gogledd Aberteifi, Gorllewin Morganwg, a Mynwy.

V. Mabwysiadwyd y penderfyniad mewn perthynas i'r gyflafan erchyll a gyflawnwyd yn Dublin, ar y 6ed cyfisol, yn y ffurf ganlynol:—"At a Meeting of the Association of the South Wales Calvinistic Methodists, held at Pontardawe, in the County of Glamorgan, May 23—25, 1882, it was unanimously resolved, that we forward an expression of deepest sympathy with the families of the late Lord F. Cavendish and Mr. Burke, under the sad bereavement which has fallen upon them, and also with Her Majesty's Government in the loss it has sustained by the cruel assassination of such valuable members of the Irish Executive, and our hope also that such measures may be speedily adopted as will secure for Ireland the reign of peace and order."

Dydd Iau, y 25ain.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 8 30 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y Cyfeisteddfod ar y genadwri o Sir Frycheiniog, ac ar Drysorfa y Gweinidogion, achos y Genadaeth Gartrefol, a'r Drysorfa Gynnorthwyol.

II. Ymdriniwyd â'r mater canlynol: "Yr anghenrheidrwydd sydd am ymgeleddu y rhai a waredwyd drwy y diwygiad dirwestol sydd wedi ymweled â ni." Hyderir y bydd y cyfarwyddiadau gwerthfawr a roddwyd yn cael eu dwyn adref i'r Cyfarfodydd Misol a'r eglwysi, ac y gweithredir yn eu hôl.

III. Gwnaeth y Parchn. J. Cynddylan Jones a W. J. Williams, Hirwaen, sylwadau parchus mewn coffâd am y diweddar Barch. Thomas Rees, Ffynnon Taf, gweinidogaeth yr hwn oedd yn dra chymeradwy

gan y wlad. Bu hefyd yn hynod ymrous fel bugail ar yr eglwysi y bu yn dal cysylltiad â hwynt.

G. Davies, *Ysgrifenydd.*

D.S.—Daeth y llythyr canlynol oddiwrth yr Ysgrifenydd Cartrefol i law yn rhy ddiweddar i'w gofîâu yn y Gymdeithasfa.

*A* 14281 *B*
816 Whitehall,
25th April, 1882.

Sir,—I have had the honour to lay before The Queen the Resolution which has been adopted at a Meeting of the South Wales Calvinistic Methodist Association, held on the 20th, 21st, 22nd ultimo, on the subject of the recent attempt upon the life of Her Majesty. And I have it in command to assure you that Her Majesty is deeply sensible of the loyalty and affection of Her faithful subjects. I am, Sir, your obedient Servant,

W. V. Harcourt.

Rev. Griffith Davies,
Cardigan.

*A* 14281 *B*
816 Delayed by mistake in Address of letter.—Whitehall, 24th May, 1882.

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fawrth, Mai 23ain, am saith o'r gloch, yn y Tabernacl, pregethodd y Parchn. W. Lewis, Llanfynydd, a D. Saunders, Abertawe.

Dydd Mercher, am dri o'r gloch, yn y Tabernacl, y Parchn. G. Williams, Tŷddewi, a J. Jones, Rhosllanerchrugog; a'r un amser yn Soar, y Parchn. J. Lewis, Caerfyrddin, a J. Pritchard, Amlwch.

Dydd Iau, am chwech yn y bore, yn Soar, y Parchn. E. Evans, Pennant, ac A. Davies, Rhymni.

Am ddeg, yn y Tabernacl, y Parchn. J. R. Owen, Penfro, a J. Pritchard, Amlwch; a'r un pryd yn Soar, y Parchn. T. Rees, Merthyr, a J. Jones, Rhôs.

Am ddau, ar y maes, y Parchn. J. Cynddylan Jones (yn Saesoneg), a T. Edwards, Rhymni.

Ac am chwech, ar y maes, y Parchn. J. Pritchard, a J. Jones, Rhôs.

Pregethwyd am saith o'r gloch, nos Fercher, yn y Tabernacl, yn Soar, yn Alltwen, yn Nghwmgiedd, yn Nghwmtwrch, ac yn Adulam, gan y Parchedigion T. Edwards, Rhymni; B. Morris, Aberhonddu; G. Davies, Aberteifi; T. Levi, Aberystwyth; W. Williams, Hirwaun; J. C. Jones, Caerdydd; J. Evans, Crughywel; J. Jones, Rhôs; A. Edmunds, Llaneurwg; J. Pritchard, Amlwch; W. Evans, M.A., Pembroke Dock; a Joseph Evans.

---

CAPELAU NEWYDDION.

ST. HELENS.

Y mae capel newydd wedi ei adeiladu a'i agor yn St. Helens, perthynol i Gyfarfod Misol Liverpool, yn cynnwys eisteddleoedd i gant a hanner o bobl; a than yr un tô, ceir ysgoldŷ cyfleus i gynnwys deg a phedwar ugain, gyda thŷ cysurus i'r neb fydd yn gofalu am y capel. Yn yr odfeuon agoriadol, gwasanaethodd y Parchn. Dr. O. Thomas, Dr. Hughes, Hugh Jones, G. Ellis, M.A., Peter Jones, a'r gweinidog cartrefol, y Parch. Ellis Lloyd. Cafwyd pregethau Seisonig gan Dr. Thomas a Mr. Ellis. Yr oedd traul yr adeiladu yn £930; ac yr oedd mewn llaw cyn yr agoriad £485; a chasglwyd yn y cyfarfodydd agoriadol, £30 15s.

CWMTIRMYNACH.

Agorwyd capel newydd Cwmtirmynach, gerllaw'r Bala, yn nechre Mehefin; y Parchn. D. Davies o'r Abermaw, a J. Pritchard o Amlwch yn pregethu. Mae yn adeilad prydferth, ac yn cynnwys eisteddleoedd i 276.

MORFA NEFYN.

Yn y mis diweddaf agorwyd y capel newydd yn y lle hwn, pryd y pregethwyd yn nerthol gan y Parchedigion David Saunders, John Ogwen Jones, B.A., W. Prytherch o'r Goppa, a W. Jones, Penrhyndeudraeth. Yr oedd yr holl gostau ynglŷn â'r adeiladu yn £1,710. Derbyniwyd £240 am yr hen gapel a'r tir. Y mae addewidion y gynulleidfa yn cyrhaedd i £805, o ba rai y mae £520 wedi dyfod i law, a'r gweddill o £285 i'w derbyn ymhen y flwyddyn, fel na bydd ond £650 o ddyled yn aros.

---

CRONICLAU HAELIONI.

DWYRAIN MORGANWG.

Yn Nghyfarfod Misol y Bryn, gerllaw Cwmafon, penderfynwyd fod llythyr o ddiolchgarwch yn cael ei anfon i William Jones, Ysw., Ty'n yr heol, am ei garedigrwydd i eglwys yr Henfaes, Aberdulais, yn dychwelyd y *ground rent* am un mlynedd ar bymtheg.

LLUNDAIN.

Yn Nghyfarfod Misol Llundain, ar y nos olaf o Fai, talwyd diolchgarwch gwresog i Abel Simner, Ysw., am ei ymdrech lwyddiannus yn casglu £125 tuag at y Genadaeth Dramor yn Mryniau Cassia, yr hyn a anfonir i Liverpool fel rhodd oddiwrth eglwysi Methodistaidd y brifddinas.

SIR BENFRO.

Gwneir ymdrech neillduol i dalu ymaith £180 o'r ddyled ar gapel newydd Walton; a hysbyswyd yn Nghyfarfod Misol Woodstock fod un brawd yn barod i gyfranu £50 at yr amcan.

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

MISS PARRY, PRIF ATHRAWES YN YSGOL FRYTANAIDD Y GARTH, BANGOR.

"We live in deeds—not years;
In thoughts—not breaths;
In feelings—not in figures on a dial.
We should count time by heart throbs;
He lives most who *thinks most, feels* the noblest,
*acts* the best."

Y MAE enw yr ymadawedig yn perarogli yn nghalonau llu mawr a fu yn cael eu haddysgu ganddi; ac er ei bod wedi gadael gwlad y cystudd mawr yn gymharol ieuanc, eto cafodd oes faith o ddefnyddioldeb, a bu yn seren ddysglaer yn eglwys Crist hyd ddiwedd ei hoes. Bu mewn mynych wendid am flynyddau; ond ar ddiwrnod hafaidd yn Mai—ïe! yn Mai—ehedodd ei hysbryd i wlad

"Lle nad oes neb yn glaf a gwan,
Na neb yn marw mewn un man,
Na lle i fynwent wrth y llan;
Mae 'n *wlad* HEB FEDD."

Merch ydoedd Miss Jane Parry i Henry ac Elizabeth Parry, 3 Stanley Terrace, Caergybi. Cafodd y fraint o'i dwyn i fyny o'i mebyd gyda chrefydd, a bu yn aelod ffyddlawn gyda'r Methodistiaid Calfinaidd hyd ei bedd. Cafodd addysg dda yn more ei hoes. Bu am bum' mlynedd yn *pupil teacher* yn Ysgol Frytanaidd Caergybi. Oddiyno aeth i Lundain i sefyll arholiad, trwy yr hwn y daeth yn llwyddiannus, a derbyniwyd hi i mewn i Goleg Normalaidd Boro' Road, lle y bu am ddwy flynedd, a daeth allan yn bur fedrus fel athrawes drwyddedol. Yr amser hwn sefydlodd fel athrawes yn Ysgol Frytanaidd Caernarfon, lle y bu yn dderbyniol iawn. Oddiyno symudodd i Fangor i gymeryd gofal Ysgol y Garth; ac y mae llawer sydd heddyw yn fyw yn barod i dystio ei bod wedi gwneyd gwaith mawr yn yr ysgol hon, oedd wedi dirywio cymaint yn ystod y pedair blynedd blaenorol. Do, gweithiodd Miss Parry mor egnïol a di-ildio, a hyny yn aml mewn gwendid mawr, nes dyfod â'r ysgol i fyny i'w safle gyntefig o dan ofal yr anfarwol Mrs. Edmunds; a phrawf hyn ei bod hithau yn "athrawes o ddifrif" yn ngwir ystyr y gair. Hen ysgol enwog a fu "ysgol y Garth," ac y mae gan gannoedd adgofion melus am dani, ac am y ddwy athrawes yma; ond yn nghanol eu defnyddioldeb symudwyd hwynt; a'u lle nid edwyn ddim o honynt mwyach.

Byddai ei chrefydd yn dyfod i'r amlwg beunydd; ac er ei bod mewn gwendid mawr yn aml, dilynai ei dyledswyddau o'r bore hyd yr hwyr yn ddifwlch. Llawer gwaith y bu yr ysgrifenydd yn dymuno meddu ar ei nodweddion pan yn ceisio cyflawni yr un gwaith. Byddai meddwl am y dull y byddai yn myned ymlaen yn yr ysgol, ei phenderfyniad, ei hysbryd hynaws, a'i hamynedd mawr, yn symbyliad cryf i ninnau gyflawni ein dyledswyddau yn ffyddlawn.

Wedi bod yn Mangor am flynyddoedd yn gymeradwy a dylanwadol iawn, symudodd, trwy daerineb mawr, ynghyd ac ychwanegiad yn y cyflog, yn ol i Gaernarfon; a bu yno hyd nes y gorfu iddi roddi yr ysgol i fyny o herwydd afiechyd; a dwys oedd y teimlad yn y dref pan ddeallwyd fod yr athrawes yn ymadael. Wedi adnewyddu ychydig ar ei nerth, agorodd *private school* yn ei thref enedigol, Caergybi, a chafodd gefnogaeth y lle yn gyffredinol; ond bu raid iddi eto roddi i fyny o herwydd gwendid, a gwanychodd felly hyd Mai 17, 1878, pryd yr hunodd yn dawel, ac yr ehedodd ei hysbryd at yr Hwn a'i rhoes. Claddwyd yr hyn oedd farwol o honi yn Eglwys St. Seiriol, Caergybi, Mai 23, yn 40 mlwydd oed.

Nis gallwn derfynu yr ychydig linellau hyn heb nodi prif nodweddion Miss Parry.

1. *Yr oedd yn bur iawn*, ac felly yr oedd pob peth yn bur iddi hithau. Ni fyddai gair segur, ysgafn, yn croesi ei gwefusau; a phrin yr ydym yn meddwl ei bod wedi ei phoeni rhyw lawer erioed gan feddyliau ofer. Ni roddai le iddynt.

2 *Yr oedd ei chywirdeb yn nodedig.* Dangosai ein ffaeleddau i ni yn y cyfryw fodd fel y byddem yn rhwym o ddiwygio yn ol llaw, er ei fod ar y pryd, fe allai, yn anhyfryd. Yr oedd yn casâu rhagrith â chas cyflawn, a byddai unplygrwydd bob amser yn nodweddu ei bywyd.

3. *Yr oedd yn hynod o ddiabsen.* Dywedai ei meddwl, nid fel llawer sydd yn dyweyd byth a hefyd eu bod yn *plain*, ac yn nghysgod hyny yn brathu ac yn briwo teimladau, ond mewn ffordd hollol ddidramgwydd; eto byddai'r gwir yno. Anaml iawn, yn ystod llawer o flynyddoedd, y clywsom Miss Parry yn dyweyd gair bach am neb. Na, yr oedd y synwyr cyffredin cryf a feddiannai yn ei dysgu mai nid trwy roddi eraill i lawr y byddai yn cyfodi ei hun. Byddai yn hir iawn cyn y credai ddrwg am neb, a mynai gael profion eglur o hyny cyn y rhoddai i fyny.

4. *Yr oedd yn dra chrefyddol.* Nid defosiynol ond crefyddol, heb ddim *nonsense* yn y byd. Ni fu erioed ammheuaeth yn ein meddwl nad oedd yn wir gristion; ac nid ydym yn petruso dyweyd y cafodd fynediad helaeth i mewn i'r trigfanau dedwydd fry—ei bod erbyn hyn yn berffaith iach, yn hollol ddedwydd mewn gwlad na ddaw na gwendid na blinder byth i'w chwrdd—

"Ymhlith y llu sydd fel y wawr
Ymhell o wlad y cystudd mawr."

EDMYGYDD.

---

MISS ANNIE EVANS, LLANWYDDYN, SIR DREFALDWYN.

GORPHENAF y 4ydd, 1879, bu farw Annie Evans, Bethel House, Llanwyddyn, yn 25 mlwydd oed. Rhaid i'r ysgrifenydd addef

mai gorchwyl anhawdd ganddo ydyw cofnodi marwolaeth y ferch rinweddol hon, yn yr hon yr oedd braidd bob rhinwedd wedi cydgyfarfod. Yr oedd yn flodeuyn prydferth yn ngardd yr Arglwydd Iesu, ac yn gwasgaru ei pherarogl i ba le bynag yr elai; a theimlad o barch i'w choffadwriaeth yw yr unig beth sydd yn cymhell yr ysgrifenydd i gyflwyno y llinellau hyn mewn perthynas iddi i sylw darllenwyr y DRYSORFA.

Yr oedd Annie Evans yn ferch i Thomas a Susanna Evans, Bethel House, Llanwyddyn. Bu ei thad farw pan ydoedd hi yn flwydd a phum' mis oed, fel yr oedd y gwaith o fagu Annie yn disgyn yn gwbl ar ei mham; a gwnaeth hono ei rhan yn ganmoladwy. Cafodd ei dwyn i fyny yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Cafodd y fraint o hanu o deulu crefyddol, a'i magu a'i maethu gyda'r Trefnyddion Calfinaidd yn Llanwyddyn; a chafodd hithau ei chynnysgaethu â meddwl i wneyd y defnydd goreu o'r manteision hyny er addysgu ei hun; a thrwy iddi wneyd y defnydd goreu o'i hamser a'i llyfrau, daeth yn un o'r athrawesau goreu yn y sir, a bu ei cholli yn golled fawr i'r Ysgol Sabbothol yn y lle. Yr oedd wedi dysgu darllen ei Bibl yn Gymraeg a Saesoneg er yn ieuanc iawn, a hyny yn dda a dealladwy; ac nid arbedai na thraul na llafur er cael dwyn ei dosbarth ymlaen mewn darllen a deall y Bibl. Yn wir, gallwn ddywedyd yn ddibetrus am dani hi gyda golwg ar hyn, "Hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth."

Ei hoff waith oedd darllen, a darllenodd lawer o lyfrau da yn ystod ei hoes fer; ond ei phrif lyfr oedd y Bibl. Treuliodd lawer awr i ddarllen ac astudio y Bibl; a hawdd oedd deall ar ei geiriau, ei gweithredoedd, a'i hymddygiadau, fod y Bibl yntau yn ei darllen hithau. Yr oedd ei ffyddlondeb i foddion gras yn nodedig: nid esgeulusai un amser fyned i foddion o ras; ac yr oedd ei dull astud a boneddigaidd o wrando yn tynu sylw pawb yn y capel. Yr oedd yn hyn i'w hefelychu yn fawr. Yr oedd hefyd yn meddu ar brofiad crefyddol; nid un yn gwrando a darllen heb deimlo a phrofi y pethau a glywai ac a ddarllenai ydoedd. Cafodd unwaith ei tharo â syndod pan y darfu i un o flaenoriaid y lle ddywedyd nad oedd yr ieuainc yn meddu profiad, mai gan yr hen bobl yr oedd y profiadau. Aeth y dywediad fel saeth i'w chalon; a gwn yn dda ddarfod iddi y noson hono ar ol myned i'r ty ddarllen hanes y Gwaredwr yn fanwl yn ei oriau olaf, a darllen nes oedd afonydd o ddagrau yn rhedeg o'i llygaid. Yr oedd bod gyda chrefydd heb brofi dylanwad crefydd ar ei hysbryd yn beth nad allai ei oddef, na meddwl am dano. Y ddau beth y byddai hi yn synu fwyaf atynt oeddynt mawredd cariad Crist tuag ati hi, a'i diffrwythder ei hun. Dyma engraifft eto o ffrwyth da magwraeth grefyddol yn eglwys Dduw. Ni fu y chwaer hon erioed allan o'r eglwys, ac aeth adref i'r Jerusalem nefol gan ddiolch am y rhagorfraint. Dysged yr ieuenctyd a ddygpwyd i fyny yn grefyddol werthfawrogi eu genedigaeth-fraint, ymddwyn yn addas iddi, a llafurio am ei "grym hi."

Cymerwyd gwrthddrych ein hysgrif i ffwrdd yn sydyn. Ni bu yn sal ond am ychydig o ddyddiau. Cadd ei tharo gan *fit* o'r *apoplexy*, fel nas gallodd ddyweyd ond ychydig wrth neb ar ol ei tharo; ond yr oedd ei dull o fyw cyn hyn yn ddigon i ddyweyd mai i'r nefoedd yr aeth. Dydd Mercher dilynol, daeth tyrfa liosog ynghyd i hebrwng ei gweddillion marwol i dŷ ei hir gartref, yr hwn sydd yn mynwent Llanwyddyn. Yr ydym fel eglwys yn ymgysuro fod ein hanwyl Annie wedi ei symud er gwell, a'i bod o ran ei chorff yn gorwedd yn ei gwely euraidd o fewn i rwymyn y cyfammod gras.

HENRY JONES.

*Llanwyddyn.*

---

MRS. EDWARDS, BWLCH, BRYCHEINIOG.

*Gan y Parch.* JOHN EVANS, *Crughywel.*

PRIOD Roger Edwards, Ysw., Tremynfa, Bwlch, Brycheiniog, ydoedd gwrthddrych ein hysgrif. Ganwyd hi mewn ffermdŷ o'r enw Penlan yn mhlwyf Cwmdu. Bendithiwyd hi â rhieni duwiol yn mhersonau John a Margaret Parry, brodorion o'r un plwyf. Chwaer ydoedd i William Parry, Ysw., Neuaddfry, ac i John Parry, Ysw., Talybryn, Trebinshun gynt. Mewn awyrgylch grefyddol felly yr anadlodd Mrs. Edwards gyntaf. Gallasai hi ddyweyd fel y dywedodd hen wraig a adwaenem, ar gyfrif ei rhieni duwiol hithau, pan y gofynwyd iddi pa hyd yr oedd wedi credu yn Nghrist, "Yr wyf yn credu yn Nghrist er pan y'm ganwyd." Clywsom Mrs. Edwards yn dyweyd ei bod hi yn un o'r proffeswyr anffodus hyny, fel y mynai rhai iddynt fod, nad allasent osod eu bys ar le ac amser eu tröedigaeth. Teimlai i'r byw pan y clywai ambell bregethwr weithiau o'r pulpud yn condemnio crefydd y cyfryw; a chwynai yn arw fod y pregethwyr hyny yn ei digaloni yn fawr. Fodd bynag, nid ydyw Mrs. Edwards, na'i chrefydd chwaith, yn nemawr llai yn ein golwg ni yn herwydd hyn. Buasem yn naturiol yn dysgwyl i ryw adyn pechadurus, wedi ymdrybaeddu am flynyddoedd mewn llygredigaeth, ar ol iddo gael ei gyfnewid gan ras, fod yn alluog tra fyddai byw i gyfeirio yn ol at le ac adeg ei dröedigaeth, gan y byddai y traws-symudiad yn ei achos ef mor amlwg, ac mor deimladol; ond am un o fath Mrs. Edwards, a fuasai yn cofio argraffiadau crefyddol o flaen dim arall, gallwn yn hawdd ei esgusodi yn hyn o beth.

Nodweddion amlycaf ei chymeriad crefyddol oeddynt ffyddlondeb a gofal. Yr oedd ei ffyddlondeb i foddion gras mor ddifwlch fel y clywid y cwestiwn yn cael ei ofyn gan y naill i'r llall, pan y dygwyddai hi fod yn absennol o'r capel am dro, "Pa le y mae Mrs. Edwards heddyw?" Galluogwyd hi yn ystod y rhan hwyaf o lawer o'i bywyd i gydymffurfio â deddfau ffyddlondeb; ond am y blynyddoedd diweddaf, goddiweddwyd hi

gan y fath raddau o wendid corfforol, ac yn neillduol gan ddiffyg anadl, fel mai anghyson iawn y gallasai fyned i'r capel, a hyny er gofid blin i'w meddwl; canys clywsom hi yn achwyn yn arw, drosodd a throsodd, yn herwydd yr anallu hwn. Treuliodd y gauaf diweddaf a gafodd gan mwyaf yn y tŷ, heb fod nemawr allan; ond tua phythefnos cyn ei marw penderfynodd fyned i'r capel y Sabboth canlynol; ac i'r dyben hwnw, aethai allan am dro i dŷ cymydog iddi, "er mwyn," ebe hi, "ymgynnefino â'r awyr agored erbyn y Sabboth." Ond er siomedigaeth iddi hi ac i lawer eraill, profodd yr anturiaeth yn angeu iddi. Yr oedd ei gofal llwyr am achos crefydd ac am bethau eraill yn ennill edmygedd pawb a'i hadwaenai. Clywsom ei chwïorydd, Mrs. Prosser o Dalgarth, a Mrs. Watkins o'r Neuaddfry, yn dyweyd mai hi oedd gwarcheidwad crefydd yn y teulu gartref. Byddai y gofal am yr addoliad teuluaidd yn gorphwys yn benaf ar ei hysgwyddau hi; a thra y byddai pawb o'r teulu yn naturiol mewn ffwdan a gofal ynglŷn â gwaith ac amgylchiadau y fferm drwy yr wythnos, bore Sabboth oedd adeg *fuss* benaf Mrs. Edwards, er cael y gwaith i ben, a'r ffordd yn rhydd i bawb fyned i'r capel. Nid ydoedd neb chwaith yn fwy gofalus na Mrs. Edwards ynghylch y capel a'i ddodrefn! Pe dygwyddasai fod rhywbeth yn eisieu, hi a fuasai'r gyntaf i'w weled; a llawer gwaith y synwyd y swyddogion a'r eglwys gan y dodrefnau newyddion a osodai yn y capel heb son am arian na chôst. Nid yn hawdd yr anghofir y cartref clyd a fyddai ganddi i weinidogion yr efengyl, a'r gofal manwl a ddangosai tuag atynt er eu gwneyd yn gysurus. Yr oedd mor fyw i'r perygl sydd mewn gwely annhymherus, fel y cadwai gostrelau o ddwfr berwedig yn ngwely y pregethwr o Sabboth i Sabboth er ei gadw yn ddiogel, a hyny drwy y flwyddyn. Da y gwnai holl wragedd caredig y wlad ei hefelychu yn hyn. Yr oedd cymeriad crefyddol Mrs Edwards, felly, mor ddiammheuol, ac yn cynnwys ynddo nodweddion ymarferol mor ddysglaer a gwerthfawr, fel y teimla yr eglwys, yn gystal a'r gymydogaeth yn gyffredinol, mai colled drom oedd ei cholli; eto teimlir fod cryn lawer o gysur i'w gael yn y grediniaeth ei bod "wedi marw yn llefaru eto."

Yr oedd hi yn meddu ar alluoedd meddyliol cryfion, pa rai a gadwasant eu nerth a'u bywiogrwydd hyd y diwedd. Yn gyffredin, ceir y meddwl yn nychu ac yn gwanhâu gyda'r corff; ond am Mrs. Edwards, braidd na thybiem fod ei meddwl yn cryfhâu, neu, o leiaf, yn dal ei dir yn llwyddiannus gyda'i gwendid corfforol. Yr oedd ei mheddwl yn hoenus ac yn ieuanc hyd yn nôd pan oedd ei chorff wedi cyrhaedd gwendid a nychdod henaint. Gwrandawsom arni lawer tro gyda'r dyddordeb dyfnaf, yn adrodd pregethau hen gewri y pulpud—megys y diweddar Thomas Elias, a William Havard, ac eraill; ac nid rhyw *anecdote* neu gymhariaeth bert a tharawiadol i'r teimlad a fyddai ganddi yn gyffredin, ond y darnau dyfnaf a mwyaf sylweddol o'r pregethau, yr hyn oedd yn ein hargyhoeddi fod ganddi feddwl chwaethus a chyfoethog.

Bu yn aelod ffyddlawn o'r Ysgol Sabbothol am yr yspaid hir o 60 mlynedd neu ychwaneg, lle y manteisiodd lawer, bid siŵr, er dadblygu ei galluoedd meddyliol; a chawn ei bod wedi ennill iddi ei hun safle uchel yn y cylch hwn yn bur fore, gan yr edrychid i fyny ati gan bawb o aelodau yr ysgol ar gyfrif ei chraffder meddyliol a'i gwybodaeth ëang yn meusydd yr ysgrythyrau. Pe buasai gan yr Ysgol bynnod o *Hyfforddwr* Mr. Charles i'w hadrodd fel pwnc, buasid yn ymddibynu ar Mrs. Edwards, ynghyd a'r ddiweddar Mrs. Walters o'r Bwlch, yn benaf, am atebion i ofyniadau y gweinidog. Dyddorol iawn fyddai gwrando ar yr holi a'r ateb, ynghyd a'r dadleu gwresog a gymerai le weithiau rhwng Mr. a Mrs. Edwards yn yr addoliad teuluaidd. Nid yn aml y cawsai unrhyw adnod neu frawddeg ddyrys basio yn ddisylw, gan gymaint y dyddordeb a deimlid yn ngwirioneddau Dwyfol y gyfrol sanctaidd. Profai yr addoliad teuluaidd felly yr hyn a ddylai fod ymhob teulu, yn fagwrfa i'r deall ac i wybodaeth, yn gystal ag yn feithriniad i grefydd brofiadol yn y galon. Yr oedd hefyd yn berchen calon lawn o'r teimladau mwyaf hynaws a charedig; ac nid y gallu lleiaf yn ei meddiant oedd ei gallu i gydymdeimlo âg eraill mewn caledi; a pha le bynnag y byddai ei chydymdeimlad yn gorphwys, teimlid bob amser ei fod yn werthfawr. Tystia llawer yn yr ardal iddynt gael colled drom yn yr ystyr hwn yn marwolaeth ein chwaer Mrs. Edwards.

Y trobwynt pwysicaf o lawer ynglŷn âg iechyd yr ymadawedig ydoedd amgylchiad marwolaeth Mary, nith fechan iddi, merch i'w brawd Mr. John Parry, yr hon a fabwysiadwyd ganddi yn adeg marwolaeth ei mam. Un o'r plant hyny ydoedd Mary fach a ystyrir, ar gyfrif eu synwyr a'u hadfedrwydd, ymhell o flaen eu hoes. Cyrhaeddodd fesur mawr o adfedrwydd meddwl a theimlad yn bur ieuainc, fel yr ennillai serch ac edmygedd pawb a ddaethai i gyffyrddiad â hi. Braidd nad edrychid arni gan bawb a'i hadwaenai fel angel bach mewn ffurf ddynol. Ond wedi cyrhaedd yr oedran addawol a dyddorol o 14eg mlwydd, bu farw er galar dwfn i'w pherthynasau a'i chyfeillion, ac i neb yn fwy, yn ddiau, nag i Mrs. Edwards. Wylai nos a dydd ar ei hôl, ac yn ofer y ceisid ei chysuro. Mwynhaodd iechyd tra rhagorol hyd at yr amgylchiad hwn; ond yma fe ddaeth tro pwysig oddiamgylch. Bellach, hyd y diwedd, ni a'i cawn yn gwanhâu ac yn nychu yn raddol, hyd o fewn pythefnos cyn ei marw, pan y gafaelwyd yn ei chyfansoddiad gan y pla dinystriol—ennyniad yr ysgyfaint. Bu farw ar y 19eg o Ebrill, 1880. Claddwyd hi yn mynwent capel y Bwlch yn ngwyddfod tyrfa fawr o berthynasau a chyfeillion galarus.

—

# Amrywiaethau.

AFLWYDDIANT GWEINIDOGAETHOL

O AM fedydd Pentecostaidd arall! Y mae arnom yn awr gymaint o eisieu yr Ysbryd ag erioed, i ddychwelyd anghredinwyr, ac i adennyn ymadferthoedd marwaidd yr eglwys. Paham y mae gweinidogion ac eraill weithwyr cristionogol yn gweled cân lleied ffrwyth i'w llafur? Paham nad ydyw'r llwyddiant yn gymesurol â'r holl beirianwaith? Pa fodd y mae ein bod yn pregethu o fis i fis ag heb genym eneidiau fel ein gwobr? Mae rhai yn ateb, Tlodi eich pregethau yw y rheswm; pregethwch yn well, a chwi a gewch well llwyddiant. Yr wyf yn addef y gallem wella llawer o ran mater a dullwedd ein pregethau. Ond nid wyf yn meddwl fod y gwir reswm yn gorwedd yna; o herwydd yr wyf yn darllen yn y Bibl am Bregethwr arall, yr hwn oedd yn meddu mewn perffeithrwydd gogoneddus yr holl ragoriaethau yr ydym ni yn ddiffygiol ynddynt,—yn ysbrydol ei feddwl uwchlaw meibion dynion, yn treulio nosweithiau a dyddiau mewn gweddi ddifrifol a myfyrdod dwys yn unigedd penau'r mynyddoedd—y goreu am wir hyawdledd a welodd y byd erioed "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Ac eto nid oedd Efe yn llwyddo yn helaeth iawn. Wedi treulio blynyddoedd yn y weinidogaeth, nid oedd ganddo fwy nag ugain a chant yn ei fawrhâu ddiwrnod ei farwolaeth. Yr oedd pob cymhwysder yn cyfarfod yn y Pregethwr hwnw, ac eto ychydig ddychweledigion mewn cymhariaeth oedd ganddo. "Ni wnaeth efe nemawr weithredoedd nerthol yno, oblegid eu hanghrediniaeth hwynt." Yr oedd oerfelgarwch pobl Capernaum yn parlysu braich y Gwaredwr bendigedig, ac yn rhewi ei eiriau caruaidd ar ei wefusau. Y mae eglwys oerllyd, eglwys anghredinol, yn ei hyspeilio ei hun o fendithion rhagoraf y nefoedd. Na feïed ar ei gweinidogion am eu haflwyddiant; ni thyf rhosynau yn Greenland; ni flodeua'r coed yn y Pegwn Gogleddol. Llawer gweinidog a fethodd am dymmor, nid yn gymaint o herwydd ei anghymhwysder ei hun ag oblegid afiachusrwydd yr hinsawdd ymha un yr oedd yn llafurio. "Deffro di, ogleddwynt, a thyred, ddeheuwynt, chwyth ar fy ngardd, fel y gwasgarer ei pheraroglau; deued fy Anwylyd i'w ardd, a bwytäed ei ffrwyth peraidd ei hun."—*Studies in the Acts of the Apostles, by the Rev. J. Cynddylan Jones.*

PAHAM YN DDIBRIOD?

BETH yw yr achos fod Jane Jones yn hen ferch? Mae ei phrydferthwch yn ddiarebol, a'i dysg a'i chymeriad ymhob ystyr uwchlaw ammheuaeth; sut, o bawb yr aeth hi yn hen ferch? Nid am na fu iddi edmygwyr, ac nid am na chafodd rai cynnygion, ond am nad oedd y cynnygwyr, er yn ddynion ieuainc golygus, gonest, a gweithgar, yn ddigon *respectable* ganddi hi a'i mam i dderbyn y cynnygion. Yr oedd tad Jane Jones yn byw yn y dref; ac er nad oedd ond gweithiwr, yn byw mewn tŷ bychan, ac heb gynnysgaeth i roddi i'w ferch ar ddydd ei phriodas hi, na dydd ei gladdedigaeth yntau, yr oedd ei mam yn cymeryd arni fod yn rhywbeth, a mynai anfon ei Jane i *Ladies' Boarding School.* Yno yr oedd merched marsiandwyr galluog, a *freeholders* lled gyfoethog, yn dysgu dawnsio, *crotchetio*, canu *piano*, dal dwylo, a phob peth *ond* gweithio Yr oeddynt yn cael eu cymhwyso i fod ymhob peth yn addurnwragedd mewn *drawing-rooms.* Yr oedd Jane Jones yn eneth mor hardd a threfnus â'r un o honynt; a buan y dysgodd yr un pethau, a meithrinodd yr un syniadau â hwythau am ei thynged yn y dyfodol. Yr oedd dysgu pethau fel hyn yn burion iddynt hwy; mae pob peth yn dda yn ei le. Ond ar ol i Jane Jones gael ei haddysgu fel yna i wneyd pob peth ond gweithio, nid oedd gan ei thad, fel y sylwyd, ioddion iddi fyw arno wedi iddi ddyfod yn ol o'r ysgol; a buan y gwelwyd hi yn y sefyllfa annymunol o fod yn foneddiges ddifoddion. Nis gallasai feddwl am gymeryd gŵr o weithiwr, yr oedd ei dysg a'i dygiad i fyny ar y ffordd; a gŵr o farsiandwr neu waedoliaeth ni chai, am nad oedd ganddi gynnysgaeth. A rhwng na chymerai yr hwn a gawsai, ac na chai yr hwn a ewyllysiai, aeth Jane Jones yn hen ferch! Dyna yn fyr, neu ryw amgylchiadau cyffelyb, yw hanes cannoedd o hen ferched Cymru a Lloegr, yn enwedig yn ein trefydd, y rhai ydynt brif fagwrfa hen ferched a hen lanciau.—*Mrs. Morgan Richards, Bangor.*

DYLANWAD Y FAM.

DA yw i famau gofio fod eu hargraff hwynt yn cael yn fynych ei phrintnodi ar eu meibion. Bum weithiau yn teimlo y buaswn yn hoffi pregethu pregeth i gynnulleidfa o famau, yn meddu bechgyn o chwech i un ar bymtheg mlwydd oed; o herwydd y mae'r dylanwad a ymarfer r ganddynt yn un tu hwnt i'w draethu. Mae yn wir arbenig, fel y gwelir ar ddalenau hanesyddiaeth, fod y dynion hynotaf wedi meddu ar famau o dalentau anghyffredin, drwg neu dda, a mawr rymusder nodweddiad. Yn gyffredin fe welir argraff y tad ar y merched, a'r eiddo'r fam ar y meibion. Yr ellylles a gymhellodd Charles IX. o Ffrainc i lofruddio yr Huguenotiaid oedd y fam a'i hymddûg. Yr oedd Nero waradwyddus yn fab i fenyw a lofruddiodd ei gŵr ei hun. Ar y llaw arall, dyna yr engraifft nodedig sydd genych o allu moesol mam dda yn y gwron Italaidd ardderchog sydd newydd fyned ymaith! Gyda'i holl ffieiddiad o'r ffurf Babaidd o grefydd, yr wyf fi, fel un, yn meddwl fod Garibaldi yn credu yn Nghrist; a mawr oedd fy moddhâd wrth ddarllen yn y papyrau ddydd Gwener y dystiolaeth hon i'w barchedigaeth neillduol o'i fam:—"Os gwelai efe neb yn edrych ar ei darlun, byddai dagrau yn llenwi ei lygaid. Yr oedd yn ddrwg iawn ganddo am iddo fod, trwy ei fywyd anturiaethus, yn achlysur o beri pryder poenus iddi. Yr oedd yn credu yn nylanwad ei gweddïau i'w gadw oddiwrth effeithiau ei orfeiddgarwch; ac ar faes y frwydr, neu mewn ystorm ar y môr, ni byddai efe byth yn colli ei wroldeb, o herwydd meddyliai ei fod yn ei gweled hi yn penlinio o flaen Duw, ac yn deisyfu yr amddiffyniad Dwyfol iddo. Y ffydd hon yn effeithioldeb ei gweddïau ni wanhäwyd am fynyd ynddo. Yr oedd hi yn wraig o ddaioni anghylaidd ac o garedigrwydd dibaid. Byddai Garibaldi yn priodoli ei dynerwch tuag at bawb dyoddefus a gorthrymedig i'r esiampl a roes hi o dosturi at y tlawd." O chwychwi a fendithiwyd â rhieni duwiol, ni ddylech byth beidio diolch i Dduw o'r herwydd. Ac od oes neb o honoch yn crwydro mewn llwybrau drwg, yn ymollwng i bechodau, yn tori'r Sabboth, ac yn esgeuluso dyfod i dŷ Dduw, cofiwch, od oes genych dadau a mamau sydd wedi ceisio yn ddifrifol a gweddïol eich arwain i'r iawn, fod hyny yn chwanegu yn ofnadwy at eich camwedd.—*Dr. Thain Davidson.*

YR WYNEBPRYD DYNOL

Y MAE gwyneb dyn yn dwyn gydag ef dystiolaeth anwrthwynebol ei fod ef wedi ei ordeinio yn benaeth y byd isod. Canfyddir y fath brydferthwch ac urddas yn ngwyneb dyn, yn enwedig dyn rhinweddol, fel nad oes yr un bôd creadigol arall wedi ei gynnysgaethu â'r cyffelyb. Gellir dywedyd hyn gyda phriodoldeb hyd yn nôd am wyneb dyn yn ei gwsg, neu newydd farw. Ond y prif ragoriaeth sydd yn gynnwysedig yn yr amrywiol ddullweddiadau y mae yn alluog i'w hamlygu. Mae holl deimladau y galon, a holl amgyffredion y meddwl, yn cael, i raddau helaeth, eu hamlygu yn y gwynebddull dynol. Y galluoedd hyn sydd

wedi eu sefydlu yn benaf yn y llygad a'r genau. Mae y rhai hyn yn alluog i osod allan bob math o deimlad, o'r dychryn brawychaf hyd y boddineb tirionaf. Mae y galluoedd hyn mor rymus yn y llygad, fel braidd y medr y dyn mwyaf ei ddichell a'i hunanlywodraethiad eu cuddio na'u ffuantu yn ddigonol i attal dyn o graffineb rhag deongli gwir deimlad y fynwes ar y pryd. Oddiar yr ystyriaeth o hyn y darfu i un o'r hynafiaid roddi i'r llygaid yr enw priodol o "ffenestri yr enaid;" ac y mae genym ddiareb Gymreig i'r unrhyw berwyl,—"Ni chêl grudd gystudd calon."—*Y Parch. Evan Evans (Ieuan Glan Geirionydd).*

Y LLONG A'I LLWYTH.

Y MAE'R llong Britannia mewn ystorm—ystorm feddwol, a chanddi ar ei bwrdd chwe' miliwn ar hugain o fodau dynol. Mae miloedd ar filoedd o honynt yn syrthio dros y bwrdd bob blwyddyn; ac y mae ynddi bawb mewn perygl o gyfarfod â llongddrylliad ar greigiau anghymedroldeb. Mae'r gwynt yn cynhyrfu, a'r tònau yn rhuo, a'r llestr bob mynyd mewn perygl o gael ei luchio yn erbyn y creigiau, a suddo fel na chyfyd mwyach. Ond ni raid aberthu yr un Jonah, yr un bywyd dynol, i'w daflu i'r môr. Y pethau sydd i'w taflu dros y bwrdd ydyw poteli o win, *kegs* o chwisgi, barilau o gwrw, *puncheons* o *rum*, casgiau o *gin*; yn unig tafler y rhai hyna dros y bwrdd, ac fel y byddant yn suddo i'r gwaelod, fe fydd tawelwch mawr.—*James Teare yn* 1848.

YR OLYGFA AR Y SABBATH.

PAN yr oedd boneddwr wedi dyfod i wneuthur edrychiad ymchwilgar ar dŷ yn Newcastle, gyda golwg ar ei gymeryd i fyw ynddo am yspaid, cymerodd y perchenog ef i'r ffenestr uchaf, i ddangos helaethder yr olygfa a welid oddiyno, ac meddai efe hefyd, "Chwi a ellwch weled Eglwys Gadeiriol Durham o'r ffenestr hon ar ddydd Sul." "Paham ar ddydd Sul mwy na rhyw ddydd arall?" gofynai y boneddwr. Yr ateb oedd, "Am nad oes ar y dydd hwnw ddim mwg yn dyfod o'r simneiau hirion acw." Gwynfydedig yw y Sabbath i ni pan na byddo mwg daearol gofalon a thrafferthion yn tywyllu yr olygfa; dyna'r pryd y bydd ein heneidiau yn gallu gweled y tir dymunol, a dinas y Jerusalem newydd.—*C. H. Spurgeon.*

FFYDD YN DDIOFN.

YN ystod daeargryn a gymerodd le flynyddoedd a aeth heibio, yr oedd pawb drwy yr holl deuluoedd mewn pentref gwledig wedi cyffroi ac ofni yn fawr, oddigerth un hen wraig nodedig am ei duwioldeb, yr hon oedd yn ymddangos yn dawel iawn, ac yn hytrach yn siriol yn nghanol yr holl gynhwrf; ac yr oedd yr olwg arni hi yn peri syndod mawr i'w holl gymydogion. Un o honynt a ofynodd iddi, "Pa fodd nad ydych chwithau yn ofni fel ninnau? rhywbeth ofnadwy iawn yw daeargryn fel hyn." "Ho," ebe y fam yn Israel, "llawenychu yr wyf fi wrth weled fod genyf Dduw a all ysgwyd y byd."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## Y GENADAETH FEDDYGOL.

RHANAU O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG EBRILL 13EG, 1882.

"YR wyf yn awr yn anfon ychydig o ystadegau y gwaith meddygol am y flwyddyn yn diweddu Mawrth 31ain. Ymweliadau â'r *dispensary* gan gleifion neu eu cyfeillion ar eu rhan, 4707; nifer y cleifion *(fresh cases)*, 1357. O'r 1357 hyn yr oedd merched dros 12 mlwydd oed yn rhifo 425, neu 31·31 y cant; plant 12 mlwydd oed ac isod, 329, neu 24·24 y cant. Paganiaid—Khasiaid, 780; Hindwaid, 22; Mahometaniaid, 3,—yr oll yn 805, neu 59·22 y cant. Gwnaethum 1041 o ymweliadau â chleifion yn eu tai, mewn 20 o wahanol bentrefi yn ystod y flwyddyn. Gwnaethum *operations* ar 44 o gleifion, o ba rai yr oedd 23 yn Baganiaid. Yr oedd y rhai hyn hefyd yn dyfod o 20 o bentrefi. Defnyddiwyd y tai a adeiladodd y Genadaeth i lettŷa cleifion gan 91 o bersonau, o ba rai yr oedd 40 yn baganiaid. Daeth y rhai hyn o 21 o bentrefi, 6 neu 7 o honynt heb yr un ysgol na neb yn dysgu Gair Duw o fewn milldiroedd iddynt. Gallesid llettŷa mwy o lawer pe buasai lle i hyny, oblegid byddaf yn gorfod troi llawer iawn ymaith.

"Nid wyf yn y nifer uchod yn cyfrif rhai cannoedd ag y byddaf yn *prescribio* iddynt pan yn ymweled â'r gwahanol orsafoedd, a Chenadwr y lle yn rhoddi y feddyginiaeth iddynt ei hunan. Cyfrifir yn unig yr achosion hyny ymha rai y mae y claf yn cael meddyginiaeth genyf fi fy hunan.

"Y mae yr ymweliadau (neu nifer y *consultations*) a dalwyd â'r *dispensary* y deuddeng mis diweddaf yn fwy o 438 nag ydoedd yn ystod y pymtheng mis cyn hyny. Y mae hyn yn gryn lawer o galondid i fyned ymlaen. Yn ystod y tair blynedd diweddaf y mae yr ymgynghoriadau (*consultations*) wedi bod fel hyn:—O Ebrill 1, 1879, hyd Mawrth 31, 1880, 2867; o Ebrill 1, 1880, hyd Mawrth 31, 1881, 3356; o Ebrill 1, 1881, hyd Mawrth 31, 1882, 4707. Felly y mae yn amlwg fod meddyginiaeth yn cael dylanwad ar y bobl, a'r dylanwad hwnw yn cynnyddu. Ond gresyn na ellid dyweyd fod dylanwad yr *efengyl* yn cynnyddu i'r un graddau, neu o'r hyn lleiaf, fod gan y Genadaeth ddarpariaeth i droi yr arian a'r llafur mawr a werir ar hyn gymaint ag y mae modd er llwyddiant yr efengyl. Y mae ein Cenadaeth wedi ymgymeryd â chyfrifoldeb mawr pan yn darparu moddion i gasglu cynifer o ddynion at eu gilydd i'r un lle, a hyny o dan yr amgylchiadau mwyaf manteisiol i gyrhaedd eu calonau, heb y moddion anghenrheidiol i ddwyn yr efengyl i'w sylw.

"Yr ydym yn ddiweddar wedi bod yn helaethu yr ysgoldŷ yn Mawphlang. Er fod y gynnulleidfa reolaidd yn llai na'r flwyddyn o'r blaen, yr oedd y lle yn gyfyng i'r cynnulleidfaoedd a ddeuent ynghyd ar rai adegau, yn enwedig y tywydd gwlaw-

og, pan fydd mwy o bobl yn y pentref, a mwy o gleifion yn aros gyda mi. Yn awr y mae yr ysgoldŷ dipyn yn barchus yr olwg arno, ac yn llawer mwy cysurus i bregethwr a gwrandäwyr. Y mae yn awr yn mesur 32 troedfedd wrth 23 troedfedd. Gweithiodd y Cristionogion yn ardderchog, mewn codi ceryg, cario dwfr (er fod yr ysgoldŷ yn nghanol y pentref yr oedd yn rhaid myned filldir o ffordd i'w gael), adeiladu y muriau, &c. Y mae yn anghenrheidiol plastro a thacluso tipyn eto arno.

"Byddaf yn aml yn cael tipyn o bleser yn siarad am Air Duw o dŷ i dŷ, ac yr wyf yn meddwl fod hyn wedi bod yn foddion i wneyd tipyn o les. Mewn un tŷ yn ddiweddar, pan oeddwn yn siarad am y grefydd Gristionogol, dyma hen ŵr yn dyweyd, 'Pa fodd yr wyf fi i wybod ai gair *dyn* ynte gair *Duw* ydyw y llyfr mawr?' (dyna y galwant y Testament Khasiaeg, a *mawr* ydyw hefyd). Troais i Mat. v. 43, &c., 'Clywsoch ddywedyd, Car dy gymydog, a chasâ dy elyn.' 'Dyna air dyn, onidê?' meddwn. 'Ië,' meddai yntau; 'pan y mae dyn yn fy nghasâu i, bydd arnaf eisieu ei aros ar y ffordd er mwyn hanner ei ladd.' 'Ond yr wyf *fi* yn dywedyd wrthych, Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r rhai a'ch casânt,' &c. Gofynais iddo, 'Ai gair *dyn* ydyw hwna, *tymen* (hen ŵr)?' 'Nage,' meddai yntau. Gofynais, 'Gair pwy ynte?' 'Y mae i'w deimlo,' meddai yntau, 'fel gair *Duw*.' Yna aethum ymlaen i ddangos daioni Duw yn rhoddi ei Air i ni ddynion tywyll a ffol, a'r pwysigrwydd mawr i ni wneyd yn fawr o'i Air ar ol ei gael. Yr oedd ei fachgen yn eistedd yn ymyl, a bydd yn dyfod i'r moddion yn achlysurol, ac y mae yn gallu darllen. Wedi i mi fyned allan, dywedai hwn wrth ei chwaer, yr hon sydd yn Gristion, 'Nis gwn pa beth i'w wneyd; pan fyddaf yn darllen Gair Duw bydd fy enaid yn anhapus, ond pan fyddaf ddim yn ei ddarllen byddaf yn hollol hapus.' Felly y mae yn amlwg ei fod yn ymladd yn erbyn Ysbryd Duw, a gobeithio y bydd iddo roddi ei arfau i lawr yn fuan."

---

## DOSBARTH JIWAI.

LLYTHYRAU ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG JIWAI, EBRILL 6, 1882.

MAE amryw o bentrefi âg awydd ganddynt am gael ysgolion, ac wedi appelio am athrawon, ond yr ydym yn gorfod eu troi i gyd yn ol am nas gallwn gydsynio â'u cais, gan nad oes genym arian i dalu i athrawon. Y maent hwy yn barod iawn i godi ysgoldai, ond nis gallant gynnal athrawon. Dylid deall hyn, nad oes gobaith sefydlu achos mewn un pentref yn Jaintia, ac nid wyf yn meddwl y methwn pe dywedwn yn Khasia hefyd, heb gael rhyw fath o ysgol ynddo; fel y mae efengyleiddiad Jaintia, i raddau mawr iawn, yn dibynu ar ein bod yn abl i sefydlu mwy o ysgolion nag y sydd genym yn bresennol. Y mae iaith y Jaintiaid, ac yn enwedig pobl y Dyffrynoedd, yn wahanol i iaith y Khasiaid; ac eto trwy y Khasiaeg yr efengyleiddir hwynt, oblegid y mae allan o'r cwestiwn i gyfieithu a chyhoeddi yr Ysgrythyrau yn eu iaith, gan fod y boblogaeth mor fechan a'u tafod-ieithoedd yn gwahaniaethu mor fawr; fel, os ydym am lwyddiant parhâus a Christionogion deallus, y mae yn rhaid eu dysgu i ddarllen y Bibl yn y Khasiaeg, a pha fodd y gwneir hyny heb ysgolion ac athrawon.

Jiwai yw prif faes ein llafur. Y mae y pentref yn fawr a phwysig. Caled iawn yr ydym yn cael y bobl, ac yn hollol ddifater ynghylch eu heneidiau a'r pethau a berthynant i'w tragywyddol heddwch. Yr ydym yn gwneyd ein goreu er dwyn moddion gras at ddrysau eu tai, a'u cymhell, hyd y mae ynom, i ddyfod iddynt. Adeiladwyd dau ysgoldŷ yn y pentref, y naill yn Harum Shnong a'r llall yn Liwlong. Cynnelir ysgolion dyddiol yn y ddau le gan yr athrawon sydd yn dysgu yn yr ysgol sydd ar y bryn Cristionogol. Nid yw presenoldeb y plant, yn y naill na'r llall, wedi bod y cyfryw ag y gallwn ei gyfrif, a rhestru yr ysgolion ymhlith y rhai a roddir i lawr yn yr ystadegau. Ysgol Harum Shnong yw y fwyaf llewyrchus o'r ddwy. Yn ystod y tymmor gwlyb llwyddasom i gael tua 25 o bersonau i ddyfod i'r ddwy am dri mis; ond erbyn hyn nis gellir cael ond pump neu chwech, a hyny heb fod yn rheolaidd, gan fod y rhan fwyaf o'r plant yr oeddym yn eu cael yn gofalu am y gwartheg yn y dyffrynoedd, gan nad oes laswellt iddynt ar y Bryniau y tymmor sych, a gwaith hen ac ieuanc y ddau fis diweddaf oedd, ac am ran o'r mis hwn hefyd ydyw, tori a chario coed tanwydd erbyn y tymmor gwlawog. Wedi iddynt orphen gyda hyn, yr ydym yn dysgwyl y bydd iddynt ddyfod eto i gael eu dysgu. Cynnelir moddion crefyddol hefyd unwaith bob Sabboth yn y ddau le. Weithiau byddwn yn llwyddo i gael 25 neu 30 rhwng y plant a rhai mewn oed, ond adegau eraill bydd raid i ni foddloni ar 5 neu 6, a bod yn ddiolchgar am danynt, a theimlo rhyw gymaint o fwynhâd, yn nghanol tristwch, ein bod yn llwyddo i gael cynifer. Wrth gwrs, nid ydym yn gallu

cyfrif y rhai hyn ymhlith ein gwrandäwyr rheolaidd.

Am yr achos ymhlith y Cristionogion, gellir dyweyd ei fod yn parhâu i gynnyddu. Fel y gwyddoch, pan y mae rhai o'r pentref yn bwriadu troi yn Gristionogion, y maent, bron yn ddïeithriad, yn gadael y pentref ac yn dyfod i fyw at y Cristionogion, er mwyn osgoi erledigaeth eu cydbentrefwyr, ac er cael eu hyfforddi yn y grefydd Gristionogol; ac ymhen amser, wedi iddynt ddeall tipyn am Gristionogaeth, bydd y rhan fwyaf o honynt yn ymofyn am le yn yr eglwys. Erbyn hyn y mae y bryn Cristionogol yn orlawn gan dai, fel nad oes lle mwy i eraill ddyfod o'r pentref. Dichon y bydd i hyn effeithio ar lwyddiant y gwaith yn ein plith, gan fod *treio* bod yn Gristion, yn meddwl y pentrefwyr, yn gyfystyr â'u bod i symud i fyw at y Cristionogion. Pan yn ymddyddan â hwy ynghylch crefydd, a'u cymhell i'r moddion sydd yn yr ysgoldai sydd yn agos atynt, dyma a gewch ganddynt yn fynych iawn, "Pe meddyliem am droi yn Gristionogion byddai i ni ddyfod atoch chwi i fyw ar y bryn Cristionogol," oblegid dyma'r arferiad sydd wedi bod yn Jiwai ar hyd y blynyddoedd. Byddai yn beth gwerthfawr iawn pe llwyddem i gael nifer lled dda o Gristionogion i fyw yn y pentref hyd yn nod pe byddai y llwyddiant yn fwy araf; yr wyf yn credu yn llwyr y byddai iddo dalu yn y pen draw.

O berthynas i ansawdd fewnol yr eglwys, y mae genym bob lle i gredu fod yr aelodau yn ceisio caru eu gilydd a byw yn fwy brawdol. Bu yma yn ystod y flwyddyn dri neu bedwar achos o anghydfod, ymha rai yr oedd cryn dipyn o deimlad yn cael ei ddangos, a chryn lawer o wahaniaeth barn yn eu cylch; ond darfu i'r cyfeillion oedd yn y lleiafrif roddi i fewn i'r mwyafrif, ac felly, o drugaredd yr Arglwydd, fe wastadhäwyd pethau heb amlygiad o ddrwgdeimlad ar ol hyny. Ni ddiarddelwyd neb o'r eglwys. Y mae rhyw ychydig dan gerydd am ymrafaelio. Pechod parod, parod iawn, i amgylchu yr eglwys hon yw hwn, ac y mae yn rhaid i ni roddi ein gwyneb yn ei erbyn. Heblaw y moddion rheolaidd ar y Sabboth—y cyfarfod gweddi am 7 o'r gloch yn y boreu, yr ysgol am 10, a'r pregethu am 1 a 3 o'r gloch yn y prydnawn—a'r cyfarfod gweddi nos Llun cyntaf o'r mis, a'r cyfarfod gweddi bob nos Sadwrn, y mae gan Mrs. Jones ddosbarth i'r hen wragedd prydnawn bob dydd Llun, ac un i'r merched ieuengach bob Gwener. Y mae genyf finnau hefyd gyfarfod holi plant bob dydd Mawrth. Y maes yr ydym yn llafurio ynddo yw Llyfr Cyntaf Samuel, ac yr ydym wedi cyrhaedd i'r ugeinfed bennod. Y mae genyf hefyd ddosbarth gyda y dynion ieuainc bob dydd Iau. Y Llythyr at yr Hebreaid yw maes llafur y dosbarth hwn, ac yr ydym yn darllen yn y bummed bennod. Byddaf yn cael llawer iawn o bleser gyda y plant a'r gwŷr ieuainc; ac y mae ambell un o honynt yn dangos cryn lawer o graffder i weled cwestiwn. Gwelaf i mi anghofio dyweyd fod yma gyfarfod eglwysig bob nos Fercher.

Mewn llythyr dyddiedig Mai 2ail, rhydd Mr. Jones hanes calonogol am ymdrech y cyfeillion yn Jiwai i gael capel newydd.

"Bydd yn dda genych glywed fod y cyfeillion yma wedi penderfynu cael capel newydd. Y mae hyn wedi bod yn hofran yn awyrgylch eu meddwl er ys blynyddoedd bellach, ond hyd yma yno y mae wedi aros heb roi ei droed i lawr ar ddaear gadarn. Dair blynedd yn ol bu gan Mr. Hughes a'r Cristionogion gyfarfod i gasglu addewidion, ac addawyd £170 at gapel newydd, ac yr oeddynt yn dysgwyl gallu ei wneyd yn £200, ond o herwydd amgylchiadau neillduol dyrysawyd y cynllun. Er dechreu y mis diweddaf y mae y peth wedi ei gymeryd i fyny eilwaith gyda brwdfrydedd mawr. Pan yr oedd Mr. Lewis, Bangor, yma, darfu i U Jang Dome, un o'r blaenoriaid, gynnyg £200 at gapel newydd ar yr ammod fod yr eglwys i gasglu £200 ar gyfer hyny. Er fy mawr ofid yr oeddynt oll yn teimlo nas gallent ddyfod i fyny â'r ammod, fel nad oedd genyf ddim i'w wneyd ond troi o'r cyfarfod gyda chalon drist a gwyneb prudd! Yr oedd hyn yn ofid i ni oll, colli £200 o herwydd ein hanallu i gyfarfod y brawd haelionus hwn. Ar un cyfrif nid oeddym yn foddlawn i golli hyn os oedd modd yn y byd. Wedi hyn caed ail a thrydydd gyfarfod i ystyried ein sefyllfa, a phawb yn y cyfamser yn gwneyd ymchwiliad i'w amgylchiadau. Dywedai un brawd twymn ei galon, 'Pe byddai raid i ni werthu dodrefn ein tai, dylem wneyd hyny er sicrhâu y £200, a chael addoldŷ da i addoli Duw ynddo.' Yn y cyfarfod olaf a fu genym, er ein mawr lawenydd daeth yr eglwys i fyny â'r cynnygiad ond £1 3s. Bore dranoeth gwnaed y gweddill i fyny gan frawd o Gristion oedd yn dygwydd bod yn absennol o'r cyfarfod. Felly dyma £400 wedi eu haddaw gan eglwys Jiwai at gapel newydd. Nid wyf yn gwybod i un eglwys ar y Bryniau addaw cymaint at unrhyw amcan o'r blaen. Na feddyliwch oddiwrth hyn fod yr eglwys fel eglwys yn un gyfoethog; nid yw felly ar un cyfrif, ac eithrio yr ychydig *traders* sydd yma. Gweithwyr wrth y dydd ydyw y rhan fwyaf o honynt sydd yn yr eglwys, a llawer o wragedd gweddwon, a thyrfa fawr o blant. Fel y gallwch feddwl, yr ŷdym oll yn

llawenychu mewn gobaith y cawn weled capel newydd da, beth bynag am brydferth; ceisiwn gyfuno y ddau mor bell ag y gallwn, ond go'alwn am ei fod yn dda yn gyntaf, ac yna fe gaiff y prydferth ddyfod i mewn. Yr ydym yn bwriadu cael tô haiarn arno, gan fod tânau yn dygwydd yma yn bur fynych yn y gauaf. Os bydd raid i ni ei doi â gwellt bydd mewn perygl bob tymmor sych o gael ei losgi. Y fath ofid fyddai hyny—gweled tŷ ein Duw yn fflamau. Dygwyddasai felly yn Shillong, pan losgwyd yr ysgoldŷ, oni b'ai fod y capel wedi ei doi â haiarn. Bydd côst y tô tua £130, a bydd côst y muriau a'r gwaith co d, &c., tua £400; felly chwi welwch y byddwn yn fyr o £130 i orphen y capel yn daclus ac yn ddiogel. Y mae gan nifer llïosog o gyfeillion y Genadaeth eu hoelen, neu eu careg, neu eu mainc, ymhob un o'r capelau Cenadol yn y gorsafoedd eraill, ac yn siwr nid ydym ninnau yn foddlawn iddynt golli y fraint gyda chapel newydd Jiwai. Chwi welwch beth sydd arnom ei eisieu, sef cael help er sicrhâu tô haiarn i'n capel newydd, ac nid ydym yn petruso syrthio ar drugaredd caredigion achos Iesu Grist ar y Bryniau hyn am gynnorthwy tuag at yr amcan teilwng hwn. Anwyl frodyr a chwïorydd, rhowch help eich llaw yn y cyfwng hwn, cyfwng pwysig yn hanes eglwys Jiwai, trwy gynnorthwyo y rhai ag sydd yn cynnorthwyo eu hunain hyd eithaf eu gallu, ïe, yn wir, a rhai o honynt uwchlaw eu gallu. Rhoddaf yma enwau y rhai sydd wedi addaw fwyaf—buasai yn dda genyf roddi enw pob un ag sydd wedi addaw, ond fe gymerai hyny ormod o le. U Jaug Dome, £200; U Riangkroh, £41; U Kypa U John, £10 14s.; U Kypa Ka Lahuin, £10 10s.; U Kypa U Solomon, U Singkyma, ac U Kiang Hek. £10 yr un; U Katwar, £7; U Jang Laloo, U Manick, ac U Simeon, £6 yr un; U Lamet, £5 6s.; U Mohonroy, £5; U Siang, £4; U Kiri, £3; U Kypa U Rang, £2 16s. Teg yw dyweyd ein bod ninnau fel teulu wedi addaw ein rhan. Y mae'r addewidion eraill yn amrywio o £2 10s. i lawr i swllt, felly chwi welwch ein bod oll yn bwriadu gwneyd ein rhan."

---

## ARHOLIAD AR Y DOSBARTH DUWINYDDOL YN CHERRA.

Ar gais y Cyfeisteddfod Gweithiol anfonais ddau bapyr,—y naill ar naw o bennodau yn *Hodge's Outlines of Theology* (viii—xi. a xiv.—xviii.), a'r llall ar y tair pen nod cyntaf yn yr Epistol at y Galatiaid, i'w rhoddi i'r dosbarth duwinyddol sydd dan ofal y Parch. John Roberts, Cherra. Yn anffodus ni chyrhaeddasant cyn bod y dosbarth wedi ymwasgaru am yr *holidays*, ac nis gellid cael yr holl aelodau yi ghyd i sefyll yr arholiad. Caniateid iddynt dair awr i ateb pob un o'r ddau bapyr. Yr oedd y cwestiynau yn lled anhawdd, ond ar y cyfan cafwyd atebion rhagorol. Mae yr efrydwyr Khasiaidd yn amlwg yn meddu cof rhyfeddol o gryf; ac y mae gan rai o honynt ddeall cyflym yn ogystal. Mae yn syndod eu bod yn ysgrifenu Saesoneg mor dda a chywir. Rhaid eu bod yn gweithio yn egnïol iawn.

Safent yn y papyrau fel y canlyn:—

*Hodge's Outlines of Theology.*—Safon 100. —1. U Ksanbin, 75; 2. U Khnong, 70; 3. U Kissorrai, 40.—*Yr Epistol at y Galatiaid.*—Safon 100.—1. U Khnong, 85; 2. U Ksanbin, 72; 3. U Amirkha, 65; 4. U Kyrton, 52; 5. U Kissorrai, 40; 6. U Konnoni Singh, 32.

Mae rhai o'r atebion, yn enwedig ar Dduwinyddiaeth Hodge, yn wir ragorol; ac amryw hefyd ar yr Epistol yn ganmoladwy. Yn ddiddadl y maent yn teilyngu cefnogaeth, a'u hathraw yr un modd ein diolchgarwch gwresog. Nid gormod ydyw dywedyd yr ystyrid yr atebion goreu yn rhai canmoladwy gan efrydwyr Cymreig. Pe buasent wedi ateb yr holl gwestiynau, buasai rhai o honynt yn agos iawn i'r safon; ac y mae yn ammheus genyf a oedd yn gwbl gyfiawn gofyn iddynt ateb cynifer. Felly, pa fodd bynag, y gwnaed; ac y mae eu hatebion wedi eu barnu heb ddim trugaredd. Cefais bleser mawr wrth eu darllen; ac nid wyf yn ammheu na byddai yn fuddiol cyhoeddi rhai o'r atebion yn y *Newyddion Da* neu y CRONICL CENADOL.

G. ELLIS.

### YR EPISTOL AT Y GALATIAID.

Gofyniad 7. Pa un o'r ymweliadau â Jerusalem a gofnodir yn Llyfr yr Actau yw yr hwn a grybwyllir yn ii. 1? Cysonwch unrhyw wahaniaethau yn yr adroddiadau.

Wele gyfieithiad ffyddlawn o atebiad U Khnong i'r cwestiwn uchod:—

Yr ymweliad a gofnodir yn Actau xv.; o herwydd (1) Cyfeirir at yr enwaediad yn y ddau adroddiad. (2) Y canlyniad yw rhyddhâd y Cenedloedd oddiwrth ddefodau seremonïol. (3) Aeth Paul a Barnabas i Jerusalem o Antioch, a dychwelasant i Antioch.

Mae y ddau adroddiad yn gwahaniaethu yn y pethau canlynol:—(1) Dywed Luc iddynt fyned i fyny i Jerusalem trwy ddanfoniad gan yr eglwys, tra y dywed Paul, "Ac mi a aethum i fyny yn ol datguddiad." (2) Dywed Luc iddynt osod yr achos o flaen y cynghor, tra y dywed Paul iddynt wneyd hyny "o'r neilldu, i'r rhai cyfrifol."

Gyda golwg ar (1), Yr oedd Luc yn gosod i lawr y cymhelliad allanol, tra y crybwyllai Paul y cymhelliad mewnol, sef ddarfod i Ysbryd Duw ei hysbysu fod yn iawn iddo fyned.

Gyda golwg ar (2), gellir sylwi yn (1), Fod Luc yn cofnodi yr amgylchiad yr oedd a fyno â'r eglwys yn gyffredinol, tra y cyfeiria Paul yn unig at yr hyn yr ydoedd neu nad ydoedd efe yn ddyledus am dano i'r apostolion. (2) Tebygol fod yr amgylchiad a gofnodir gan Paul yn anadnabyddus i Luc.

Gwelwn fod y ddau ysgrifenydd yn gwahaniaethu yn (1) O ran eu safle. Yr oedd y naill yn llygad-dyst o'r ffeithiau, tra yr oedd y llall wedi derbyn ei hysbysrwydd yn ail law. (2) O ran amcan. Amcan Paul oedd dangos ei awdurdod annibynol ei hun, gan ddal mai bychan a fuasai y gymdeithas rhyngddo a'r Deuddeg. Ond amcan Luc ydoedd dangos cynnydd Gair Duw.

A ydoedd yn bosibl ateb yn well?

"HODGE'S OUTLINES OF THEOLOGY.

"Gofyniad 9. Pa rai ydynt y ddau ddirgelwch mawr cysylltiedig â tharddiad pechod?

"Wele atebiad U Ksan Bin :—

"Y dirgelwch cyntaf yw, Pa fodd neu paham y goddefwyd bodolaeth pechod yn nghreadigaeth Duw, yr hwn sydd dragywyddol a hunan-hanfodol, yr hwn sydd yn anfeidrol mewn gallu, gwybodaeth, doethineb a daioni? Y cynnygion i gyfarfod yr anhawsder ydynt (1) Nas gall Duw attal bodolaeth pechod, (*a*) mewn unrhyw gyfundrefn; (*b*) neu o leiaf mewn cyfundrefn yn cynnwys rhyddweithrediad.

"(2.) Nad yw Duw, o herwydd rhyw resymau, yn dewis ei attal; (*a*) am ei fod yn ddymunol ynddo ei hun; (*b*) os nad yn ddymunol ynddo ei hun, ei fod yn foddion anghenrheidiol i gyrhaedd y daioni uchaf; (*c*) os nad yn tueddu at y daioni uchaf, y gellir ei oruwchlywodraethu i'r amcan hwnw; (*d*) neu y byddai ei ganiatâu yn cynnwys llai o ddrwg na'i attaliad hollol.

"Mae yn amlwg (1), Nid yw Duw yn dewis attal pechod; (2) yr oedd yn iawn iddo wneyd hyny.

"Yr ail ddirgelwch ydyw, Pa fodd y gallasai drwg darddu yn ewyllys dyn, yr hwn oedd wedi ei greu â thuedd bendant ynddo at ddaioni *(with a positively moral disposition)*?

"(1) [Pa fodd i'w gysoni] â'r hyn a wyddir am gyfansoddiad yr ewyllys? Os yw ewyllysiadau *(volitions)* yn ol y serchiadau a'r dymuniadau cryfaf *(prevalent affections and desires)*, ac os yw y serchiadau a'r dymuniadau a gynnyrchir *(excited)* trwy achlysuron allanol yn dda neu yn ddrwg, yn ol agwedd barhâus yr ewyllys *(permanent state of the will)*, pa fodd y gallai ewyllysiad pechadurus darddu mewn ewyllys sanctaidd?

"(2.) [Pa fodd i'w gysoni] â phrofiad cyffredinol? Gan fod yn anmhosibl i ddymuniad pechadurus darddu yn ewyllys sanctaidd Duw, neu yn ewyllys sanctaidd saint ac angelion, pa fodd y gallai ewyllysiad pechadurus darddu yn ewyllys sanctaidd Adda?

Mae yn yr ateb gof cryf yn dyfod i'r golwg, ond mor amlwg â hyny y mae yr ysgrifenydd yn *deall* yr hyn sydd ganddo mewn llaw.

---

## YR ADRODDIAD BLYNYDDOL.

Y MAE yr Adroddiad Cyffredinol am y flwyddyn yn diweddu Mawrth 31ain, 1882, ac a gymeradwywyd gan y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala, wedi ei gyhoeddi, a bydd, cyn y bydd y rhifyn hwn yn nwylaw ein darllenwyr, wedi ei anfon i'r amrywiol Siroedd. Dymunir ar iddo gael ei ledaenu yn ddioed. Os bydd nifer gormodol o gopïau wedi cael eu hanfon i ryw gymydogaethau, teimlir yn ddiolchgar os anfonir hysbysrwydd o hyny ar unwaith i'r Ysgrifenydd. Neu os oes rhifynau o'r Adroddiad diweddaf yn aros heb eu dosbarthu, byddys yn dra diolchgar am gael gair o berthynas iddynt.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Pennant, Llanbrynmair, rhodd gwŷr ieuainc tuag at ail adeiladu yr ysgoldŷ yn Shillong | 0 | 15 | 0 |
| Liverpool—David Street | 12 | 9 | 2 |
| Fitzclarence Street | 48 | 18 | 8 |
| Crosshall Street | 10 | 10 | 0 |
| Birkenhead | 26 | 13 | 6 |
| David Davies, Ysw., M.P., tuag at ail adeiladu yr ysgoldŷ yn Shillong | 10 | 0 | 0 |
| Llundain, casgliad arbenig, trwy law Mr. J. W. Jones | 125 | 0 | 0 |
| Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Wrexham | 22 | 11 | 7 |
| "X." | 20 | 0 | 0 |

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 68 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 622.] AWST, 1882. [LLYFR LII.

## Y NEWYDD A'R HEN.

**SYLWEDD ANERCHIAD A DRADDODWYD WRTH ADAEL Y GADAIR YN Y GYMANFA GYFFREDINOL YN LIVERPOOL, 1881.**

GAN Y PARCH. JOHN HUGHES, D.D.

[Er fod dros flwyddyn o amser wedi myned heibio er pan draddodwyd yr araeth ganlynol, diau y bernir yn gyffredinol ei bod yn deilwng o gadwraeth yn y DRYSORFA, ac yn enwedig pan ddealler iddi ymddangos mewn diwyg anmherffaith yn fuan wedi y traddodiad, ac mai o lawysgrif y traddodydd parchedig ei hun yr argreffir hi yma.]

ANWYL FRODYR,—Mae yn hysbys i ni oll fod ymhob cymdeithas amryw dueddiadau cryfion ar waith, y rhai y mae parhâd a chynnydd y gymdeithas yn ymddibynu arnynt. Naturiol, fe allai, ar un olwg, fyddai meddwl mai po fwyaf cydnaws â'u gilydd fyddo y cyfryw dueddiadau, mwyaf hefyd y sicrheid llwydd a thangnefedd y gymdeithas, ac, ar y llaw arall, fod gwrthwynebrwydd y tueddiadau i'w gilydd yn achos o berygl i'r gymdeithas. Ond, wrth edrych yn ddyfnach, gwelwn mai yn y gwrthwyneb y mae. Mae parhâd a chynnydd y gymdeithas yn gorphwys ar bresennoldeb tueddiadau gwrthwynebol o'i mewn. Nis gellir diwreiddio y naill ddosbarth mwy na'r llall, oblegid y maent oll yn gorwedd yn rhy ddwfn yn y natur ddynol; a phe byddai yn bosibl, nid doeth fyddai ceisio eu diwreiddio, oblegid byddai hyny yn sicr o ddiffrwytho gweithrediadau y gymdeithas; byddai hyd yn nôd eu lliniaru yn lleihâd ar ei nerth a'i bywiogrwydd. Un o brif ragoriaethau pob cymdeithas ydyw y gallu i uno tueddiadau gwrthwynebol dan reolaeth tuedd arall uwch a chryfach. Cawn engraifft o hyn yn y Wladwriaeth, yn narostyngiad y ddwy elfen wleidyddol sydd yn hynodi y pleidiau dan reolaeth gwladgarwch; ac yn yr Eglwys yn narostyngiad pob awyddfryd ac amcan dan lywodraeth cariad at yr Arglwydd Iesu a ffyddlondeb i'w achos. Nid ar absennoldeb yr elfen o wrthwynebrwydd yn ein tueddiadau yr ymddibyna heddwch a llwydd Cyfundeb Eglwysig, ond ar ddarostyngiad llwyr pob meddwl a thueddiad i egwyddor fawr y bywyd eglwysig—ffyddlondeb i'r Arglwydd Iesu.

Ymysg y gwahanol dueddiadau y cyfeiriwyf atynt, mae yn hawdd canfod dwy ymhob cymdeithas, a hyny am nad oes un meddwl heb fod i ryw raddau dan reolaeth y naill neu y llall o honynt: y duedd i fawrygu yr hen ac i lynu yn ystyfnig wrtho, a'r duedd at gyfnewidiadau. Nid oes ymhob cymdeithas ddwy duedd yn dyfod yn fwy i'r wyneb; ac y mae yn ammheus genym a all nifer o bersonau geisio cydweithredu am fis o amser na fydd yn eglur i bawb pwy yw y ceidwadwyr, a phwy y diwygwyr. Ond er nad oes un cyfundeb nad yw yr holl aelodau, i raddau mwy neu lai, dan ddylanwad y naill duedd neu y llall, y mae ymhob cymdeithas lïaws o aelodau heb un syniad am y doethineb o geisio eu hûno. Gellir galw y bobl hyny yn bobl "yr un drychfeddwl." Eu hunig syniad am gysondeb a gonestrwydd ydyw troi tuedd yn fympwy, a marchogaeth y mympwy hwnw yn ddiddiwedd; gweithio allan un syniad neu amcan i bob eithafion. Nid yw eu trysorau yn cynnwys "pethau newydd a hen," ac felly nid ydynt byth yn

dwyn allan ond y newydd *neu* yr hen —nid y newydd *a'r* hen. Mae y gwirionedd fod yr hen yn cynnwys y newydd, ac nad da y newydd os nad yw wedi blaguro allan o'r hen, heb erioed dywynu ar eu meddyliau. Oblegid hyny y maent yn credu fod ymlyniad wrth y newydd yn galw arnynt i ymddattod â'r hen, neu, fod mawrygiad o'r hen yn eu gosod dan rwymau i wrthwynebu y newydd. Nid yw eu meddyliau yn ddigon eang i gyfuno a chyfartalu y ddwy duedd, ac felly i sicrhâu diwygiad mewn undeb â sefydlogrwydd. Pan gyfarfyddwn â'r ddwy duedd ar wahân yn aelodau y Cyfundeb y perthynwn ni iddo, amlygant eu hunain yn debyg i hyn :—Dymuna un dosbarth newid ac ad-drefnu ein Cyfansoddiad hyd ei sylfeini : nid oes dim o'r bron megys y dylai fod ; mae eisieu gwneuthur pob peth o newydd ; ac felly y mae yr ysbrydoedd hyn yn awyddus i berffeithio a pherffeithio y Corff, nes o'r diwedd ei berffeithio o'n golwg ;—llyfnhâu ei gonglau a naddu ei geinciau, hyd na byddo mwyach yn aros ddim i'w ddiwygio. Hyny yw, yn yr awydd am gyfnewidiadau, dymunent ei yspeilio o'i nodau gwahaniaethol, heb ystyried mai y nodau hyny ydyw rheswm mawr ei fodolaeth. Ar gyfer y dosbarth hwn canfyddwn ddosbarth arall, yr hwn a fêdd y fath edmygedd o'r hen bethau fel na fyn glywed son am y cyfnewidiad lleiaf. Mae y rhai hyn yn ffurfio delw fawreddog o Fethodistiaeth y dyddiau o'r blaen, ac yn trethu eu dychymyg gyda rhyddid mawr am ddefnyddiau iddi ; a phe byddai eu gallu yn gyfartal â'u hewyllys, anfonent orchymyn allan i holl Fethodistiaid yr oes, pan glywont sain y cornet a'r chwibanogl, i syrthio i lawr ac addoli y ddelw fawr hon. Yn ngolwg un dosbarth, geiriau cyfystyr ydyw cyfnewidiad a diwygiad ; yn ngolwg y llall, mae pob cyfnewidiad yn debyg, os nad yn sicr, o fod yn waethygiad. Cyffelyb yw y naill i'r Ffrancod, y genedl fwyaf medrus dan haul i greu cyfansoddiad gwladol newydd, a'r fwyaf medrus hefyd i'w ddinystrio. Mae y llall yn debyg i'r Chineaid, y rhai a lwyddasant yn well nag un genedl i gadw eu sefydliadau yn yr un ystâd ystrydebol trwy gydol yr oesoedd.

Mae hanesyddiaeth yn gwahardd yr ysgariad hwn ar y ddwy duedd ; a goddefer i mi sylwi, wrth fyned heibio, nad ydym fel cenedl ac fel Cyfundeb yn fwy diffygiol mewn un gangen o wybodaeth nag mewn hanesyddiaeth. Yr wyf yn credu fod *Hanes yr Eglwys* heb gael y lle a haeddai hyd yn hyn yn efrydiaeth ein pregethwyr a'n blaenoriaid. Yn nesaf at wybodaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd, nid oes un gangen o wybodaeth mor fuddiol â'r gangen hon. Mae ynddi allu i lefeinio y meddwl â rhyw *naws* neillduol ; mae yn ëangu y meddwl, yn ei dyneru a'i dymheru, ac yn ei wneuthur yn llawer mwy rhyddfrydig, yn gwrthweithio ei wylltineb a'i eithafiaeth, ac yn creu o'i amgylch fath o awyrgylch nas gall gwahanol rywogaethau o fympwyon anadlu yn hir o'i mewn. Un bore yn mis Ebrill mi a welais gawod o eira yn disgyn ; ond gan fod agoshâd yr haf wedi dechre tyneru yr awyr, yr oedd yn toddi yn y fan ar ol disgyn. Dywedwn ar y pryd ynof fy hun, Yn y modd yma y toddai aml gawod o syniadau mympwyol, càn oered â'r iâ, ar feddwl y genedl fyddo wedi ei nawsio gan wir ysbryd hanesyddiaeth. Dysga y gangen hon o wybodaeth nas gall un sefydliad barhâu am hir amser yn gwbl yn yr un ffurf, a bod diogeliad ei hanfod mewnol yn ymddibynu i ryw raddau ar gyfnewidiadau mynych yn ei arweddau allanol. O ganlyniad, y rhai mwyaf gelyniaethus i'w lwydd ydyw y rhai a lynant yn ystyfnig wrth holl fanylion ei ffurf. Tra yn proffesu bod yn gyfeillion iddo, ac mewn gwirionedd yn meddu hoffder ato, y maent, yn ngrym anwybodaeth, yn gwneuthur mwy o niwed iddo hyd yn nôd na'i wir gaseion. Dinystrwyr yn wastad ydyw y ceidwadwyr eithafol ; a'r gwir geidwadwyr yw y diwygwyr.

Dengys hanesyddiaeth hefyd fod rhyw lanw cryf yn perthyn i dreigliad yr amseroedd, yr hwn sydd, megys ar ei flaen, yn dwyn i mewn ddiwygiadau gyda nerth anwrthwynebol ; ac y mae pob dyn sydd wedi ei drwytho â'r ysbryd hanesyddol, ac hyd yn nôd y sawl a fêdd rywfaint o'r ysbryd, er heb ei lwyr feddiannu ganddo, yn deall pa bryd i ildio—pa bryd i gilio o'r ffordd —pa bryd i gydnabod fod ysbryd yr amseroedd yn rhy gryf i sefyll yn ei erbyn, tra y mae ei frawd, yr hwn ni ŵyr fod y fath beth â hanesyddiaeth yn bod, yn cymeryd ei ysgubell yn ei

law i droi tònau y Werydd yn eu hol, ac yn sicr o gael ei foddi yn y dyfroedd os na chymer rhywun doethach drugaredd arno. Dysga y wybodaeth hon, ymhellach, fod gan bob cenedl ei neillduolion ei hun, y rhai a osodant eu hargraff ar ei chrefydd a'i threfn eglwysig. O herwydd hyny peth hollol annoeth mewn unrhyw eglwys ydyw ceisio dynwared eglwys ymysg cenedl arall. Mae yn wir y dylai ddysgu oddiwrth bob cyfundeb eglwysig, ymha wlad neu oes bynag; ond un peth ydyw dysgu oddiwrtho, a pheth arall ydyw ei ddynwared a'i efelychu yn wasaidd yn y ffurfiau a'r defodau ag y mae y prif reswm am eu bodolaeth yn amgylchiadau neillduol y Cyfundeb hwnw. Gyda golwg ar fanylion llywodraeth eglwysig, y prif ofyniad ydyw, nid pa un yw y drefn oreu ynddi ei hun, ond, pa un yw y fwyaf addas i'n Cyfundeb, wrth gymeryd i ystyriaeth deithi y genedl ac amgylchiadau yr oes. Nid, pa un ai gwisg filwrol y brenin, ynte siaced y bugail, ydyw yr oreu a'r harddaf ynddi ei hun, ond pa un sydd fwyaf hwylus i Dafydd? ymha un y gall y llanc gerdded? pa un oedd am dano pan laddodd y llew a'r arth? ymha un y bydd fwyaf dewr i gyfarfod â'r cawr? Mae ysgaru y ddwy duedd a nodasom yn hollol groes i holl ysbryd hanesyddiaeth; a'r meddwl hwnw fyddo wedi ei eangu a'i dymheru ganddo ydyw y tebycaf o allu eu cyfuno yn eu holl ymwneyd â materion eglwysig.

Mae hanes Cyfundeb y Methodistiaid yn gyfoethog o'r un gwersi ag a geir yn Hanes yr Eglwys Gyffredinol. Pe buasai ein dull a'n trefn yn berffaith, ni buasai lle i ddiwygiad; pe buasai ein sylfeini a'n hanfodion yn bwdr, ni fuasai genym un rheswm dros lynu wrth yr hen. Ond nid ydynt nac yn berffaith nac yn bwdr, ond yn gyffelyb, yn y da a'r drwg, i'r sefydliadau eglwysig goreu ymysg dynion anmherffaith. Pe gallai rhyw feirniad brofi fod Methodistiaeth Cymru wedi troi yn fethiant, ein dyledswydd a'n doethineb y dydd heddyw fyddai ail ddechre o'r newydd—tynu yr hen adeilad i lawr, ac aredig ei sylfeini—neu yn hytrach, gosod pen arnom a dychwelyd i'r Aipht. Ond nid felly y mae. Parod ydym i osod ein gwrthwynebwyr mwyaf rhesymol ar y fainc, ac i ddywedyd, "Bydded ein gelynion yn farnwyr." Yr oedd ein dechreuad fel Cyfundeb, mae yn wir, yn fychan; ond yr oedd y dechreuad hwnw yn ddechreuad tra addawol. Yr oedd golwg byw a chynnyddu ar Fethodistiaeth pan yn faban.

"Gwelwch Daniel yn pregethu,
Yn y tarth, y mwg a'r tân;
Mil ar unwaith yn moliannu,
Haleluia yw y gân."

Ac yn nhreigliad y misoedd a'r blynyddoedd, "y bachgen a gynnyddodd, ac a gryfhäwyd yn yr ysbryd."

"Pump o Siroedd penaf Cymru
Glywodd y taranau mawr,
A chwympasant gan y dychryn
Megys celaneddau i lawr;
Clwyfau gawd, a chlwyfau dyfnion,
Ac fe fethwyd cael iachâd,
Nes cael eli o Galfaria,
Dwyfol ddŵr a Dwyfol waed."

Cawsom ein dechreuad yn nghynhyrfiad bendigaid un o ddiwygiadau mawrion yr Eglwys Gristionogol. Yn ystod ail chwarter y ganrif ddiweddaf, pan oedd Ysbryd Duw yn ymsymud ar wyneb y dyfnder, fe gyfododd Methodistiaeth i'r golwg fel byd newydd, heb fod ymhob peth yn gyffelyb i un byd o'r blaen. Gallwn ddywedyd yn hyf fod y Diwygiad hwn yn un o brif ddiwygiadau crefyddol yr oesoedd. Saif yn ail i'r Diwygiad Protestanaidd ei hun. Yr oedd yn ddilyniad naturiol iddo, fel yr oedd yn cael ei wneuthur yn anghenrheidiol ganddo. Fe daflodd y Diwygiad Protestanaidd ffrwd o oleuni cryf ar hen wirionedd—ar wirionedd mawr trefn yr efengyl—yr hwn a gladdesid o'r golwg am lawer o genedlaethau; ac yr oedd y goleuni a daflodd arno yn gryfach nag a welwyd yn llewyrchu er yr amser yr oedd yr apostol Paul yn pregethu holl gynghor Duw, ac yn ysgrifenu at eglwysi Rhufain a Galatia am y ffordd i bechadur i gael ei gyfiawnhâu yn Nghrist Iesu. Ac yr oedd eglurder y goleuni a lewyrchai yn mhregethau ac ysgrifeniadau Luther ar y pwnc o gyfiawnhâd yn gwneuthur y *pwnc* yn *allu*, ac yn allu i ail greu y byd Cristionogol. Yr oedd gan y Diwygiad Methodistaidd yr un modd ei waith; ac yr oedd y gwaith yn gymaint o anghenrhaid ar yr oes, ac yn waith yr oedd ei arweinwyr yr un mor gymhwys iddo ag oedd y Diwygwyr Protestanaidd i'w gwaith hwy. Yr oedd Luther a'i gydweithwyr yn dduwinyddion galluog; oblegid yr oedd eis-

ieu cloddio gwirionedd i'r golwg. Nid meddylwyr na duwinyddion oedd y Diwygwyr Methodistaidd. Nid oeddynt felly yn Lloegr. Mae yn sicr fod Diwygwyr Cymru yn rhagori fel duwinyddion. Yr oedd Cristionogaeth Efengylaidd wedi ei gadael yn etifeddiaeth i Frydain gan y Puritaniaid a'r Anghydffurfwyr, yn gystal â rhai o'r Cydffurfwyr. Dawn arbenig y Diwygwyr Methodistaidd oedd y ddawn i gymhwyso gwirionedd adnabyddus at gydwybodau cysglyd y werin. Er nad oeddynt yn ddarganfyddwyr yn meusydd duwinyddiaeth, yr oeddynt, yn eu cysylltiad â phoblogaeth y deyrnas, y peth nesaf i hyny. Gallent roddi bywyd mewn hen wirionedd, a rhoddi y fath arbenigrwydd arno, a deffro y fath ystyriaeth ato, nes peri i'r myrddiynau deimlo fod goleuni newydd yn llewyrchu ar wirionedd Duw; oblegid y mae anystyriaeth yn llen mor drwchus rhwng y meddwl a gwirionedd ag ydyw anwybodaeth. Ac wrth gyhoeddi yr un gwirionedd â'r Diwygwyr a'r Puritaniaid, a hyny gyda nerth a hyfdra mawr, yr oedd y Diwygwyr Methodistaidd yn cyfranu bywyd newydd i'r hen eglwysi. Trwy y bywyd newydd hwnw, cawsant amcanion newyddion; llanwyd eu breichiau â gorchwylion newyddion; daeth i'w cof fod yr Arglwydd Iesu, cyn esgyn o hono i'r nef, wedi rhoddi gorchymyn i'w eglwys i fyned "i'r holl fyd, ac i bregethu yr efengyl i bob creadur"—gorchymyn a ollyngwyd ganddi am oesoedd i ebargofiant

Pe buasai y Diwygiad Methodistaidd heb wneuthur dim ond hyn—dim ond galw sylw Crêd at gomisiwn olaf yr Iachawdwr—haeddasai gael ei restru ymysg y Diwygiadau mawrion. Ond, yn ychwanegol at hyny, fe ddygodd yr efengyl i lawr at y werin, a daeth allan yn wrol i filwrio yn erbyn anystyriaeth ac anghrefydd y boblogaeth yn gyffredinol. Trwy attal llifeiriant didduwiaeth yn y wlad, gwnaeth fwy na holl wladweinwyr yr amser i droi yn ol y genllif o syniadau chwyldroadol oedd yn bygwth goresgyn y deyrnas. Fel yr oedd y Diwygiad Protestanaidd yn gwrthsefyll cyfeiliornad, caethiwed, a ffurfioldeb yn yr Eglwys, felly hefyd yr oedd y Diwygiad Methodistaidd yn ymosod ar lygredigaeth ac anystyriaeth Crêd, ac ar baganiaeth tywyll-leoedd y ddaear; ac nis gallaf lai na chredu mai yn y Diwygiad hwn y bu y cyflawniad helaethaf hyd yn hyn ar eiriau Llyfr y Dadguddiad, "Ac mi a welais angel arall yn ehedeg yn nghanol y nef, â'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i bob cenedl, llwyth, ac iaith." Ac heblaw hyn oll, fe ddygwyd i fodolaeth ddau Gyfundeb—gefeilliaid—nas gall y byd Cristionogol, yr hwn a edrychai arnynt ar y cyntaf yn gilwgus, erbyn hyn fforddio eu hanghofio; ac y mae yn rhydd i mi ychwanegu, fod cynnydd y ddau Gyfundeb Methodistaidd, y naill ymysg y Saeson a'r llall ymysg y Cymru—eu cynnydd mewn dylanwad yn gystal ag mewn rhifedi—yn ffaith fawr a rhyfedd yn Hanesiaeth Eglwysig y cyfnod presennol; ac y mae hefyd yn destun llawenydd nad yw y ddau Gyfundeb wedi colli prif nodau y Diwygiad a roddes fodolaeth iddynt.

Nid ydym eto, fel Cyfundeb, wedi goroesi dyddiau ein hieuenctyd. Temtir ni weithiau i feddwl yn wahanol am ryw fynydyn, pan glywom rai yn amlygu eiddilwch eu harabedd trwy ein galw "Yr Hen Gorff." Yr wyf fi, o'm rhan fy hun, yn eithaf boddlawn i'r cyfryw rai ddefnyddio yr enw hwn cân fynyched ag y mynont, yn niffyg geiriau digrifol o natur uwch. Yr un pryd, os ydynt yn gofalu am ystyr i'w geiriau, annogwn hwynt i gysylltu rhyw ansoddair arall â'r "Corff" yn hytrach na'r un sydd fwyaf chwannog i lithro i flaenau eu tafodau. Nid oes anghen o gwbl ei alw yn *hen* i'w wahaniaethu oddiwrth adran ddiweddarach o hono; nid oes un ymblaid wedi ymddattod oddiwrthym o'r dechre; ac nid ydym yn gweled yr argoel lleiaf o hyny yn awr. Nid ydym yn hen nac yn heneidd. Mae yn awr yn ein mysg rai aelodau ag y bu eu tadau a'u mamau yn derbyn y cymun o law Rowlands yn Llangeitho. Nid yr un mesur sydd i einioes Cyfundeb ag i einioes dyn unigol. "Os o gryfder y cyrhaeddir pedwar ugain mlynedd," yw yr hyn a ddywedir am einioes dyn; ond yr wyf yn hyderu y gellir cymhwyso addewidion Duw i'r eglwys fawr gyffredinol at ein Cyfundeb ni, ac at holl eglwysi efengylaidd ein gwlad, "Megys dyddiau pren y bydd dyddiau fy mhobl, a'm hetholedigion a hir fwynhânt waith eu dwylaw." "Plant dy weision a barhânt, a'u had a sicrheir ger dy fron di."

"Fy Ysbryd yr hwn sydd arnat, a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau nac o enau dy had, nac o enau had dy had, o hyn allan byth." Amen; boed felly.

Na; nid ydym eto wedi gadael ein mebyd o'n hol. Nid ydym yn henaidd mwy nag yn hen. Un o'r tymmorau mwyaf bywiog a chynnyddfawr arnom o'r dechreuad oedd y deng mlynedd ar hugain diweddaf. Yn 1851, rhifai ein haelodau 58,813; y llynedd yr oeddynt yn y wlad hon yn fwy na chymaint arall—118,251; 10,000 yn Nhaleithiau Unedig America; lliaws o gannoedd, os nad miloedd, yn Australia a pharthau eraill o'r byd; ac uwchlaw 2000 ar Fryniau Cassia yn India y Dwyrain. Nid pawb fe allai sydd yn deall ystyr y cyfryw gynnydd. Y dyfnder isaf o ddirywiad y gall eglwys suddo iddo ydyw ymostwng i ddenu y werin trwy weniaith a thwyll, er mwyn chwyddo nifer ei dysgyblion: ond y dyfnder agosaf i'r isaf ydyw colli y bobl gyffredin a'r tlodion trwy ddifrawder, neu ddiffyg cydymdeimlad oddiar awyddfryd anghristionogol am ymddangosiad o barchusrwydd neu ddiystyrwch Pharisëaidd o'r "boblach" na wyddant y gyfraith. Yr oedd y bobl (*the common people*) yn gwrandaw ar yr Iesu bendigedig yn ewyllysgar; yr oedd y tlawd a'r rheidus yn teimlo sugndyniad yn ei Berson a'i eiriau; a dychlamai ei galon yntau o lawenydd wrth eu gweled yn cyrchu i wrando arno. Nôd penaf ei Fessïaeth—o leiaf, y nôd y rhoddai Ef ei hun fwyaf o bwys arno—oedd, fod y tlodion yn derbyn yr efengyl. Ac nid ydym yn rhyfygu wrth ddyweyd mai un o brif nodau Methodistiaeth o'r dechreuad ydyw y gafaeliad dwfn sydd ganddi ar y bobl gyffredin, ac mai hyn oedd un o'r manteision a gafodd ar eglwysi eraill, y rhai, wrth fyned yn hen, a aent yn rhy esmwyth arnynt, ac yn rhy ffugbarchus i ddisgyn i lawr at wehilion ac ysgubion cymdeithas. Pwy o honoch na ddymunai ar y Nefoedd i gadw y goron hon ar ein pen? Os byth y gwelwch addoldŷ harddwych, a'r gynnulleidfa sydd yn ymgynnull o'i fewn yn ddiystyr o'r tlodion sydd yn byw gerllaw, gellwch ysgrifenu *Ichabod* ar ei ddrysau! Pan gilia y gweithwyr cyffredin, y gweision a'r morwynion, a'r anghenus, allan o gyfundeb, gan adael ar eu hol nifer o bobl barchus eu sefyllfa, argoel yw hyny fod Duw hefyd yn cilio. Nid yw Cristionogaeth yn gwneuthur didoliad rhwng dosbarth a dosbarth; ac y mae eangder ei chydymdeimlad â dynolryw yn gyffredinol yn un o'r prif nodau sydd yn ei gwahaniaethu oddiwrth Baganiaeth; ond yn gymaint ag nad yw y doeth, y galluog, a'r boneddig, ond eithriadau yn y byd, yr oedd ei hwyneb yn benaf o anghenrheidrwydd ar y werin, er heb esgeuluso un dosbarth. Ac fel y mae yr eangder hwn yn un o brif nodau Cristionogaeth, felly y mae hefyd i aros yn un o brif nodau yr Eglwys Gristionogol.

Yn awr, os yw y duedd at yr hen a'r traddodiadol yn gref mewn llawer o honom, fel y mae yn sicr ei bod, hyfryd ydyw meddwl fod yn ein Cyfundeb gyflawnder o faeth iddi. Mae yn iawn i chwi lynu yn ffyddlawn wrth hen drefn y Corff. Beth bynag arall a allem ddyweyd am y drefn hon, gallwn eich sicrhâu ei bod, yn ei phrif linellau, yn unol â threfn yr oll o'r bron o Eglwysi y Diwygiad Protestanaidd. Gellwch, heb fawr o betrusder, ddal eich gafael yn yr Erthyglau Athrawiaethol. Y maent yn unol â Chyffesion Eglwysi y Diwygiad, ïe, yn unol âg addysg arweinwyr y brif Eglwys trwy yr holl oesoedd; ac yr ydym ni yn credu eu bod yn unol hefyd â'r Ysgrythyr Lân. Os oes ambell Fethodist yn tybied mai arwydd o ddiwylliant uchel ydyw ymffrostio nad ymostyngodd erioed i efrydu *Y Cyffes Ffydd*, mi wn am rai personau, pe yn awr yn fyw, fuasent yn ei ddarllen gyda hyfrydwch: Athanasius, Awstin, Anselm, Luther, Calvin, John Owen, Jonathan Edwards. Mae yn werth dal gafael am rai cenedlaethau eto yn y *society* brofiad a'r Ysgol Sabbothol; ac un prawf o hyny ydyw fod ein brodyr o'r Eglwys Sefydledig, yn eu hawydd canmoladwy am ennill mwy o ddylanwad ar y wlad, wedi agor eu llygaid ar werth ac addasrwydd y sefydliadau hyn; a hyfryd ydyw gweled y fam yn ceisio efelychu y ferch! Yn eithaf diogel y gallwn hefyd barhâu i foliannu Duw a'r Gwaredwr trwy gyfrwng Emynau Pantycelyn: gallwn lynu wrth yr odlau ysbrydol hyn, o leiaf, hyd oni ddonia y Nef ryw Gymro âg awen efengylaidd fwy peraidd a chyfoethog. Pwy a ŵyr nad yw hyny

ymysg pethau posibl y dyfodol? Y mae pethau anhygoel yn cymeryd lle. Ond gwn y cyttunwch â mi nad oes eto un argoel yn Nghymru farddonol o ymddangosiad yr emynwr hwnw a bair i ni werthfawrogi Williams yn llai nag y gwnawn yn bresennol.

Ond, wrth barchu yr hen a'r traddodiadol, cofiwn nas gallwn gadw heb ddiwygio. Yn unig wrth ddychymyg a hyrwyddo gwelliadau y gallwn fod yn wir olynwyr ein tadau, yr hyn a welir yn amlwg os ystyriwn rai pethau oedd yn eu hynodi.

1. Yr oedd y Tadau Methodistaidd yn ddynion llawn o'r ysbryd diwygiadol. Edmygir hwynt, ni a wyddom, gan rai i'r fath raddau, neu yn hytrach yn y fath fodd, ag y dymunent gadw y Corff yn hollol yn yr un ystad ag ydoedd yn eu dyddiau hwy. Pe gofynid iddynt yn nyddiau pwy o honynt yr oedd yn gynllun o berffeithrwydd, nid hawdd fe allai fyddai cael atebiad. Ai yn nyddiau Rowlands? Ai yn nyddiau Charles? Ynte yn oes Elias? Ofnwn nad yw y cyfryw fawrygiad o'r tadau, a dyweyd y lleiaf, yn fawrygiad deallus; oblegid yr oedd arweinwyr y Cyfundeb am ddwy neu dair cenedlaeth yn llawn o'r ysbryd diwygiadol; ac y mae yr ysbryd hwnw yn collfarnu y syniad y gall unrhyw gorfforiaeth eglwysig lamu ar unwaith i ystad o berffeithrwydd. Nid yn nghyflawnder ei maintioli y mae eglwys unrhyw wlad yn cael ei geni; ac y mae y dybiaeth fod Methodistiaeth Foreuol yn gynllun o bob perffeithrwydd yn hòni iddi ragoriaeth na pherthynai i'r Eglwys Apostolaidd ei hun. Pe buasai Rowlands yn foddlawn ar bethau fel yr oeddynt, buasai ein Cyfundeb heb ddyfod i fodolaeth. Pe barnasai Charles nad oedd gwella ar bethau fel y gadäwyd hwynt gan Rowlands, buasem heb yr Ysgol Sabbothol. Pe tybiasai Elias fod Charles wedi meddwl am a sefydlu pob moddion oedd yn angenrheidiol, daethai yn eofn i'r maes, gyda'i ddoniau cynhyrfiol, i wrthwynebu yr ymdrech i roddi gwell addysg i'n pregethwyr, ac i wneuthur rhywfaint tuag at efengyleiddio y byd paganaidd. Ond nid dynion o'r fath feddwl oedd ein tadau. Nid ceidwadwyr oeddynt, ond diwygwyr; yn hytrach, yr oeddynt yn wir geidwadwyr trwy fod bryd eu calon ar ddwyn gwelliadau i mewn. Ac nid gormod ydyw dyweyd fod eu hysbryd, eu dyfais, a'u hymdrech, yn gondemniad ar ysbryd a golygiadau y Methodistiaid hyny a ddangosant eu parch iddynt trwy ddadleu dros adael pob peth megys yr oedd yn eu hamser hwy.

2. Yr oedd y Tadau Methodistaidd, wrth ddarpar ar gyfer eu holynwyr, yn amlygu doethineb ac ëangder yn eu trefniadau. Mae yn amlwg mai dynion oeddynt o feddyliau ëang dros ben. Nid oeddynt yn cael eu blino gan gulni drwgdybus. Gallent ymddiried mewn dynion, am eu bod yn ymddiried yn Nuw. Ni ddaeth erioed i'w meddwl mai gyda hwynt y byddai marw doethineb. Yr oeddynt yn gallu sylweddoli rhyddid ac ëangder yr oruchwyliaeth gristionogol; ac felly yr oedd y trefniadau a luniasant, nid yn ddeddfau i gaethiwo, ond yn awgrymau i gyfarwyddo. Prawf arall o'r un doethineb oedd yr ystyriaeth a dalent i angenrheidiau gwahanol amseroedd. Cymerer un engraifft o'r rhyddid eang hwn:—

> "Fod y dull presennol o weinyddu y Swper Sanctaidd yn gyffredinol yn cael ei arferyd, càn agosed ag y gellir, heb osod defodau caethion ar neb ynghylch pethau dadleuol ac ammheus, ond goddef eangder yn ein holl drefniadau, cyfatebol i eangder yr oruchwyliaeth efengylaidd, fel y gallo pawb gyduno â'u gilydd heb ddim petrusder cydwybod."

3. Yn unol â'r ysbryd hwn, yr oeddynt yn cadw eu golwg yn ddyfal ar angenrheidiau yr amseroedd, ac mewn modd doeth ac arafaidd yn dwyn i mewn ddiwygiadau o bryd i bryd. Yr oedd y diwygiadau hyny yn unol â deddfau pob gwir ddiwygiad. Meddent ddwfn argyhoeddiad fod gwir angen am danynt; gwelent raddau o addfedrwydd yn yr eglwysi i'w derbyn; ac yr oedd y diwygiadau eu hunain yn dwyn perthynas â'u gilydd, fel dolenau yr un gadwen, y fath fel y byddai un diwygiad yn creu anghen am un arall, a hwnw drachefn yn creu anghen am y trydydd. Oni b'ai am y cyntaf, ni buasai lle i'r ail; ac yr oedd y cyntaf a'r ail yn gwneuthur lle i'r trydydd. Anghen mawr cyntaf y Dywysogaeth oedd ei hysgwyd a'i chyffroi—ei dihuno "o'i marwol hûn." Ymddangosodd Griffith Jones, Llanddowror, fel diwygiwr o flaen y Diwygiad; dyn mawr a de flaen ei oes ydoedd. Yr oedd Cy heb ei dihuno yn ddigonol i allu gw fawrogi yn llawn yr addysg bur

"Efe a ddywedodd mewn dull go gwta nad oedd y fath gyffelybiaeth i'w chymhwyso mewn un modd at ei amgylchiad ef. Ond cyn ymadael, mi gês gymhorth, fel yr wyf yn credu, i wasgu ato un ystyriaeth a fydd yn sicr o wneyd arno argraff dda os rhydd efe le iddi yn ei feddwl; ac, yn wir, yr oeddwn wrth ei dywedyd yn anfon saethweddi tua'r nef am iddi fod o fendith iddo. Dyma hi: mae Iesu Grist wedi myned i barotoi lle i ni yn y trigfanau lawer sydd yn nhŷ ei Dad; ac y mae yn bwnc o bwys beth yr ydym ni yn ei wneuthur pan y mae ein Gwaredwr ar waith yn parotoi lle i ni yn y nefoedd. Os yw Crist yn parotoi lle i rai fel ni, fel y byddom yn wastadol gyda'r Arglwydd, bydd yn rhywbeth ofnadwy i ni barotoi ein hunain i fod byth gyda phobl heb gariad at yr Arglwydd na'i achos. Beth sydd i'w ddysgwyl i'r rhai sy'n helpio dal i fyny deyrnas y diafol ar y ddaear ond cael eu hanfon i gartref y diafol wedi myned oddiyma? Ac wedi i mi ddyweyd, 'Maddeuwch i mi, Mr. Henry anwyl; rhowch le i'r gydwybod farnu yn onest ai gweddus yw i un âg enw dysgybl i Grist arno ymroi i'r cyfeillachau yr ydych chwi i'ch cael mor fynych ynddynt y tro hwn,' efe a gydiodd yn fy llaw, ac a'm gadawodd gydag ysgydwad pen tra difrifol."

"Diolch i chwi, William Daniel," ebe Thomas Prŷs, "am adrodd y fath ystyriaeth a hona. Gobeithio yr ydwyf y gwna hi les i mi. Os yw Iesu Grist yn parotoi lle i ni, dylem ninnau trwy weddïo yn ddirgel, ac addoli yn gyhoeddus, ac ymddwyn yn addas i'r efengyl, ymbarotoi i'r lle. Ac yr wyf yn teimlo fod arnaf fi, yn anad neb, eisieu llawer iawn o barotöad tuag at fyned i'r trigfanau nefol."

T. C. T.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD IX.

*Materion Eglwysig.*

Y DYDD o'r blaen cefais y pleser o ymweled â'r Ysgol Frytanaidd yn y dref hon; ac wrth sylwi ar ei threfn ardderchog, yr addysg dda a buddiol a gyfrenid ynddi, y ddysgyblaeth fanol ac esmwyth a weinyddid, a'r olwg lân a hapus oedd ar y plant, nid allwn beidio galw i'm cof y dirfawr anfanteision y bum i yn llafurio danynt yn ysgol Robyn y Sowldiwr. Mae fy ngwaed yn berwi ynof y fynyd hon wrth feddwl am ei ragrith, ei ddylni, ei ddiogi, a'i greulondeb digyffelyb. Er mwyn cyfiawnder â fy hanes, rhaid i mi sôn ychydig am dano yn y bennod hon, cyn troi at rywbeth mwy sylweddol; ac yna ffarweliaf âg ef am byth, oni bydd raid i mi roddi fy nhystiolaeth yn ei erbyn ryw ddydd a ddaw. Pa fodd bynag, hyderaf iddo gael trugaredd, fel yr wyf finnau yn dysgwyl am yr unrhyw.

Y pwnc pwysicaf gan yr Hen Sowldiwr oedd cael y geiniog, a'r nesaf o ran difyrwch iddo oedd gwneyd cansen gref yn yfflon ar ein cefnau a'n dwylaw bob rhyw wythnos neu naw niwrnod. Nid oedd y driniaeth arw a gaem oddiar ei ddwylaw yn ddyeithr i'n rhieni; ond yn eu hanwybodaeth, ystyrient hwy hyny yn anghenrheidiol er ein lles; ac yr oeddym ninnau, y bechgyn, yn edrych ymlaen am y ddysgyblaeth lem hon ymron gyda'r un cysondeb, er nad gyda'r un archwaeth, ag yr edrychem am ein pryd bwyd. Hyd yr wyf yn cofio, nid oedd un o'r bechgyn mwy na minnau yn gofalu dim am ddysgu; ac yr oedd yr hwn yr oedd ein haddysg wedi ei hymddiried iddo yn gofalu llai na hyny. Ymddangosai i mi bob amser ei fod yn cael mwy o bleser yn ein gwaith yn methu dyweyd y dasg na phan fyddem yn ei medru, am y rhoddai hyny iddo esgus i'n cystwyo. Dysgwyliai—os dysgwyliai hefyd—i ni allu dysgu heb ein cyfarwyddo. Meddyliwn yn aml ei fod yn teimlo yn siomedig os dysgwyddai i ni fedru y wers er ei waethaf. Ni cheisiai byth greu ynom gariad at wybodaeth, ac uchelgais am ragori; yn hytrach creodd adgasedd at bob math o addysg, ac ysfa annaturiol ymhob bachgen am fod yn ddigon cryf i roddi curfa yn ol iddo ef, yr hyn, yr wyf yn sicr, a addawodd pob un iddo ei hun y pleser wedi iddo ddyfod yn "ddyn." Yr wyf yn cofio yn dda fel y byddwn, ar ol cael curfa dost ganddo, pan oedd fy nghefn yn ysig a fy nghalon yn drom, yn dyfalu yn fy meddwl wrth edrych ar ei goes bren, Pa nifer o'r *French* y mae efe, tybed, wedi eu lladd pan yn ymladd yn erbyn Boni? Dywedai John Beck iddo glywed ddarfod i'r Hen Sowldiwr ladd tri chant. Enwai Wil Bryan nifer uwch o lawer; ac ychwanegai nad oedd dim a roddasai fwy o bleser i'r Sowldiwr na'n lladd ninnau oll, ond ei fod yn ofni cael ei grogi; ac â'r syniad hwn y cyttunem oll. Ac nid oedd un ymdrech meddwl yn ofynol i gredu hyn; oblegid pan fyddai efe yn ceryddu bachgen, byddai y fath gynddaredd i'w weled yn ei wyneb, —esgyrn clicied ei ên yn ymwthio allan—gwythienau ei dalcen yn chwyddo ac yn duo, a'i olwg yn arswydus i edrych arno.

Yr un pryd yr oedd ganddo ryw allu rhyfeddol i newid gwedd ei wyneb. Cof genyf ei weled fwy nag unwaith yn y gynddaredd hon, pryd y deuai Mr. Brown y

person yn sydyn i'r ysgol. Yr oedd Mr. Brown yn ŵr tew, rhadlawn a charedig, difeddwl-drwg am ei gymydogion, yn enwedig os byddent yn myned i'r Eglwys. Gwelais, meddaf, Mr. Brown yn dyfod yn sydyn i'r ysgol pan fyddai yr Hen Sowldiwr yn ei gynddaredd; ac mewn amrantiad newidiai wyneb yr hen ragrithiwr, a gwisgai wedd nefolaidd ymron. Galwai un o honom ymlaen i adrodd y catecism neu golect; ac wedi i ni orphen, tynai ei law yn serchog dros ein penau. Llongyfarchai Mr. Brown ef am ei lafur a'i lwyddiant, a dywedai, "Ch'i gyneyd llawer o daioni yma, Robyt; ch'i cael tâl am hyn eto." Os dygwyddai i un o honom, yn ngwyddfod Mr. Brown, edrych yn anfoddog, neu mewn unrhyw wedd arwyddo nad oeddym yn berffaith hapus, gwae i ni wedi i'r gŵr rhadlawn droi ei gefn! Yn wir, pa un ai hywaith ai anhywaith yr edrychem, byddai yr ymdrech a gostiai i'r Hen Sowldiwr edrych yn fwyn, a'r dreth a osodai ar ei natur fileinig yn mhresennoldeb Mr. Brown, yn creu gwrthweithiad ynddo wedi i'r gŵr parchedig droi ei gefn; a byddai ei dymher ddrwg yn waeth nag o'r blaen. Ar adegau byddai rhywrai yn achwyn wrth Mr. Brown fod y Sowldiwr yn arfer creulondeb at y bechgyn, a deuai y gŵr parchedig i'r ysgol i ymddyddan â'r meistr ar y mater. Galwai yr Hen Sowldiwr fe allai y bachgen y cyhuddid ef o arfer creulondeb ato i wyneb Mr. Brown, a gofynai iddo, gydag awgrymiad pendant yn ei lygad pa fodd yr oedd i ateb, "Onid wyf yn feistr tirion?" Nid gwiw a fyddai i'r bachgen hwnw ddyweyd yn amgen, a chaffai Mr. Brown ei foddloni mai siarad pobl oedd y cyfan.

Ac eto yr oedd manteision yn ysgol Robyn y Sowldiwr, o leiaf yr hyn a ystyriem ni y bechgyn yn fanteision. Bob prydnawn Gwener, byddai yr hen filwr yn nodi allan ddau o honom i fod yn weision iddo am yr wythnos ddilynol. Swydd y gweision hyn a fyddai glanhâu yr ysgoldŷ, cynneu tân, a negeseua. O dan y penawd olaf, yr oedd yn gynnwysedig myned yn fynych i'r *Cross Foxes* i gyrchu cwrw i'r Sowldiwr, a hyny bob amser heb brês. Hyd nes y deuid i gynnefino â hyn, byddai y gorchwyl yn un anghysurus iawn, oblegid byddai yr hen Mrs. Tibbet, y dafarnwraig, yn dwrdio yn enbyd; a byddai raid iddi bob amser gael dangos i'r negesydd swm dyled yr Hen Sowldiwr, yr hwn oedd yn ysgrifenedig mewn *chalk hieroglyphics* ar gefn drws y seler. Hen wreigan dew, yr un lêd o'r top i'r gwaelod, oedd Mrs. Tibbet. Byddai ei hwyneb bob amser o liw dugoch, a dywedai rhai mai wrth brotestio na byddai hi byth yn profi dyferyn o ddiod feddwol yr oedd ei hwyneb wedi cymeryd y wêdd hono. Pa fodd bynag, coleddai y bechgyn feddwl uchel am Mrs. Tibbet, am ei bod yn dal yr un syniadau â hwy am fuchedd a chymeriad yr Hen Sowldiwr. Yr wyf yn cofio yn dda gyda pha fath hwyl y byddai Mrs. Tibbet yn traethu ei syniadau ar ddiffygion y meistr, pan fyddai hi yn dangos i ni ei gyfrif ar ddrws y seler, ac yn dadgan ei barn na byddai iddo byth fod yn alluog i'w wastadhâu. Un tro clywais Wil Bryan yn gwneyd y sylw wrthi fod gan yr hen Sowldiwr gyfrif mwy o lawer na'r hwn oedd ar ddrws y seler, yr hwn hefyd nas gallai byth ei dalu. "Beth," ebe'r hen wreigan, wedi dychrynu yn fawr, "oes gyno fo gownt yn rhywle arall?" Ond pan esboniodd Wil mai at gyfrif mawr y dydd a ddaw yr oedd yn cyfeirio, tawelodd ei meddwl yn hynod, a dywedodd, "Ho! wel, rhyngo fo â'i fater am hyny; rhaid i bawb o honom ni fyn'd i'w ateb, ac mi gaiff bawb gyfiawnder. Dae o yn talu 'i gownt i mi, cymred o 'i siawns wed'yn."

Y peth mwyaf anghysurus i'r gweision a fyddai cynneu tân yn yr ysgoldŷ, oblegid rhaid oedd iddynt ymorol am y briwydd at y pwrpas, fel y gallasai y gwrychoedd oddiamgylch ddwyn tystiolaeth. Yr wyf yn cofio o'r goreu pan oedd Wil Bryan a minnau un bore heb yr un pric i ddechre tân, i Wil ofyn i mi yn ddifrifol a wyddwn i a fyddai y meistr yn cymeryd ei goes bren gydag ef i'r gwely, ac a fyddai yn bosibl ei lladrata? "Ah," meddai Wil, "mi fasa hi yn cynneu yn brâf!" Gwelaf ei wyneb yn dysgleirio gan foddhâd wrth feddwl am y peth! Druan oedd Wil! ni chafodd byth roddi ei ddymuniad mewn grym.

Ond am y manteision yr oeddwn yn sôn. Pan fyddai un yn was ni ofynid iddo gymaint ag edrych ar ei lyfr; ac yr oedd yn hollol rydd oddiwrth bob cerydd-on, pa ddrwg bynag a wnelai yn ystod amser ei weinidogaeth. Yn wir, dywedid fod y meistr dro yn ol hyd yn nôd wedi gwenu ar un o'r gweision. Nis gallaf sicrhâu fod hyn yn ffaith, oblegid ni welais i erioed wên ar ei wyneb oddigerth yn mhresennoldeb Mr. Brown. O herwydd y manteision goruchel hyn, byddem ar brydnawn Gwener yn gwrando fel llygod i ran pwy yr oedd y weinidogaeth gysurlawn i ddisgyn. Anfynych y deuai i ran Wil Bryan a minnau, am y rheswm fod ein rhieni yn gapelwyr, ac am mai anaml yr elem i'r Eglwys oddigerth pan renid bara brith yno. Myned i'r Eglwys ar fore Gwener y Groglith a fu yn achlysur i roddi terfyn ar dymmor arosiad Wil Bryan a minnau yn ysgol Robyn y Sowldiwr; ac wedi i mi adrodd am yr

amgylchiad hwn, byddaf, fel y dywedais, yn ffarwelio â'r Pharaoh hwnw am byth. Wrth adgofio yr amgylchiad yr wyf yn awr yn myned i'w adrodd, prin yr wyf yn deall ystâd fy nheimlad yn ei wyneb. Mewn un ystyr, yr wyf yn teimlo euogrwydd o herwydd fy nirieidi, ac ar yr un pryd nis gallaf fygu y *chuckle* sydd yn fy mynwes wrth gofio y rhan a gymerais ynddo. Os ydyw y teimlad hwn yn bechadurus, gobeithiaf y câf faddeuant o hono. Er mai croniclo fy nrygioni y byddaf wrth ei adrodd, anmhosibl yw i mi fyned heibio iddo, gan ei fod yn bwysig yn fy hanes, ac fod yr amgylchiad wedi bod yn achlysur i roddi terfyn ar hyny o ysgol ddyddiol a welwyd yn oreu ei rhoddi i mi.

Bore y Groglith ydoedd, ac o herwydd nad oedd gwasanaeth yn y capel, a bod y tywydd yn rhy wlyb i ni fyned i chware, aeth Wil Bryan a minnau gyda'r plant eraill i'r Eglwys. Ni wyddwn fod gan Wil un bwriad croes i ddiniweidrwydd wrth fyned, ac ni ddarfu iddo sôn gair wrthyf ar y ffordd. Dichon ei fod yn ofni pe buasai yn gwneyd ei fwriad yn hysbys i mi, na fuaswn yn cyttuno âg ef. Yr oedd yn yr hen Eglwys sêdd fawr, ddofn, ac ysgwâr, yr hon a gynnwysai oddeutu ugain neu ragor o blant, ac i'r hon yr elai ysgoleigion Robyn y Sowldiwr. Wedi cau drws y sêdd hon, nid allem o herwydd ei dyfnder weled hyd yn nôd Mr. Brown yn ei bulpud, ac nid allai neb o'r gynnulleidfa ein gweled ninnau. Y sêdd nesaf at hon oedd hir a chul, yn yr hon yr eisteddai y Sowldiwr, ac efe yn unig, i'r dyben o osod braw ar y plant a'u cadw rhag bod yn afreolus. Er mwyn cysur yr ysgolfeistr, yr oedd Mr. Brown, yn gyson â'i garedigrwydd arferol, wedi gorchymyn tori twll yn ngwaelod sêdd y Sowldiwr, i'r dyben o roddi cyfleusdra i'w goes bren ymwthio drwodd pan fyddai efe yn eistedd, blaen yr hon oedd felly yn weledig yn sêdd y bechgyn. Nid cysur yr ysgolfeistr yn unig a gyrhaeddid y ffordd hon. Yr oedd i'r bechgyn weled blaen y goes bren yn "tueddbenu" i'w hadgofio yn feunyddiol fod yr hwn a arswydent mor fawr yn eu hymyl, er ei fod yn anweledig, ac felly yn eu cadw o fewn terfynau gweddeidd-dra. Toc wedi i'r gwasanaeth ddechre, gwelwn Wil yn craffu yn fyfyrgar ar yr hyn oedd weledig o'r goes bren. Yn ddilynol gwelwn ef yn tynu o'i logell gortyn main ond cryf. Yr oedd eisoes ar y cortyn gwlwm rhedeg wedi ei wneyd yn barod, yr hyn oedd yn dangos yn eglur nad dyfais sydyn oedd wedi dyfod i feddwl Wil. Aeth Wil ar ei liniau, a llithrodd y cwlwm yn esmwyth am flaen y goes bren. Yna parodd i mi gymeryd gafael yn y cortyn, a dywedodd yn fy nghlust,—"Pan glywi di o 'n brathu, dal d'afael," gan siarad am y goes bren fel pe buasai bysgodyn. Nid gwiw oedd i mi anufuddhâu; ac nid hir y bum yn dysgwyl i'r pysgodyn frathu, oblegid, yn ol trefn Eglwys Loegr, yr oedd yn bryd i'r gynnulleidfa godi ar ei thraed, a cheisiodd y Sowldiwr gydymffurfio; ond clywn ef yn syrthio yn ol ar ei sêdd fel darn o blwm. Yn y sefyllfa hon cadwasom ef trwy ystod yr holl wasanaeth. Ar y dechre beichiai a rhuai fel tarw mewn rhwyd; ond buan y boddwyd ei lais gan sain fawreddog yr organ. Daliodd Wil a minnau ein gafael yn y cortyn nes oeddym yn glasu yn ein gwynebau. Ni chynnorthwyid ni yn yr ymdrech hon gan neb o'r bechgyn oddieithr John Beck, yr hwn, heb ei ofyn, a dorchodd ei lewys, ac a fu o wasanaeth mawr. Yr oedd y nifer mwyaf o'r bechgyn yn mwynhâu ein hystryw castiog, ac yn gorfod cynnal eu hochrau, a gwthio eu cadachau poced i'w safnau, rhag chwerthin allan. Edrychai eraill mewn braw wrth feddwl am y canlyniadau, ac edrychai mab y wraig oedd yn glanhâu yr Eglwys yn anfoddog. Pan oedd y gwasanaeth yn terfynu, gorchymynodd Wil i John Beck gymeryd ei gyllell a thori y cortyn o fewn troedfedd i flaen y goes bren. Wedi i Beck wneyd hyn gwthiodd Wil y gweddill o'r cortyn i'w logell mewn eiliad a dywedodd, "Dyna fo yrŵan fel iâr yn dodwy allan," gan gyfeirio yn ddiammheu at yr arferiad o rwymo llinyn am goes yr iâr er mwyn gwybod pa le y bydd yn dodwy. Yna gorchymynodd Wil i bawb o honom fyned allan yn hamddenol, a chydag wynebau sobr. Pan oeddym yn myned allan yn araf a difrifol yn ol y gorchymyn, gwelem Mr. Brown, ar ei ffordd i'r festri, yn edrych dros ymyl sêdd y Sowldiwr, a chlywsom ef yn dyweyd, "Holo! Robyt, fi meddwl chi ddim yma heddyw." Ni ddarfu i ni aros i weled nac i glywed ychwaneg; ond protestiai Wil Bryan ei fod ef wedi edrych drach ei gefn pan oedd Mr. Brown yn yr act o fyned i mewn i'r festri, ac iddo sylwi fod y gŵr parchedig yn gwasgu ei gadach poced ar ei safn, ac fod ei wàr a'i glustiau càn goched â'r tân; a chredai Wil mai chwerthin yr oedd, wedi deall pa beth a gadwasai y Sowldiwr yn anweledig. Ac nid oedd hyn yn anghredadwy, oblegid gŵr llawen oedd Mr. Brown.

Adeg bryderus a fu arnom o hyny hyd fore Llun. Daethom yn ystyriol o ysgelerder y weithred a gyflawnasom, ac nid oedd ammheuaeth ar ein meddwl na roddid i'r meistr gan "Llèch" adroddiad manwl o'r holl amgylchiad. Llawer cynghor a fu rhwng Bryan, Beck, a minnau; ond nid allem weled un llwybr yn agored i ddianc rhag y gosb a gyfiawn

haeddem. Bore Llun a ddaeth, a rhaid oedd myned i'r ysgol. Yn wir, ymddangosai Wil Bryan fel pe buasai yn awyddus am fyned, oblegid galwodd am danaf yn gynnarach nag arferol. Tybiwn weithiau mai eisieu cael y gosb drosodd yr oedd efe; ond meddyliwn bryd arall fod ganddo ryw gynllun yn ei feddwl i'w hosgoi, oblegid yr oedd yn neillduol o dawedog a myfyrgar. Am danaf fy hun, yr oedd y fath arswyd arnaf fel mai prin y gallai fy nghoesau fy nghario. A'r un modd y teimlai Beck. Wrth ein gweled mor ofnus, dywedodd Wil wrthym pan oeddym yn myned trwy y drws i'r ysgoldŷ, "*Cheer up;* mi ddaw yn well nag yr ydych yn ofni." Nid oeddwn yn gweled pa fodd yr oedd yn gallu gobeithio hyn; ond cadarnhäwyd fi yn y syniad fod ganddo ryw gynllun i'n gwaredu. Yr oedd y bechgyn oll yn bresennol, ac am unwaith yn ddystaw a llonydd, fel pe buasent yn dysgwyl yn bryderus am ein dyfodiad. Wedi i ni eistedd, planodd Wil ei lygad yn ngwyneb "Llèch," a gwridodd yntau at fôn ei wallt, a thrôdd ei ben draw. Deallodd pawb yr awgrym, ond ni ddywedodd neb air. Yn y man torwyd ar y dystawrwydd gan sŵn coes bren yr Hen Sowldiwr yn pegio ymlaen at yr ysgol. Edrychodd y bechgyn ar Bryan, Beck, a minnau gyda phryder a thosturi. Nis gallaf ddesgrifio fy nheimladau pan oedd wyneb ffyrnig y meistr yn gwneyd ei ymddangosiad, a phan welais ei lygaid yn cyfeirio yn syth y foment y daeth i mewn at y fan lle yr eisteddai Bryan a minnau. Ond yr oedd genyf obaith gwan o hyd fod gan Wil gynllun i'n gwaredu. Aeth yr hen *warrior*, fel y galwai Wil ef, yn syth at y ddesg, a dywedodd ei bader fel arferol; ond gwan iawn oedd y clochydda iddo y tro hwn. Càn gynted ag y dywedodd yr Amen, edrychodd pob llygad tuag ato, a gwelwn ef yn tynu allan o'r ddesc gansen newydd, gref. Torchodd gypsen ei lawes ddehau, poerodd ar ei law, edrychodd fel gwaedgi ar Wil Bryan, a phrysurodd ei gamrau tuag ato. Yn lle gwneyd gwâr barotöawl fel y byddai arferol, neidiodd Wil ar ei draed, a safodd y Sowldiwr, a gorchymynodd i "Llèch" gloi y drws a chadw yr agoriad. Ond nid oedd Wil yn meddwl am ffoi. Er fod ei wefusau yn gwynlasu ac yn crynu, a'i lygaid yn melltenu tân, ni thynodd ei olwg oddiar yr Hen Sowldiwr am eiliad. Parodd edrychiad beiddgar Wil i'r meistr betruso am foment; ond y foment nesaf prysurodd yn ei flaen â'i wyneb yn welw gan gynddaredd. Pan oedd efe o fewn dwylath i Wil, cyfododd y gansen i uchder ei ben ar fedr dechreu ei gystwyo; ond cyn iddo gael amser i roddi ei fwriad mewn gweithrediad, Wil, âg un naid, a ymaflodd yn ffyrnig yn ei goes bren, tynodd hi ato gyda'r fath sydynrwydd, a tharawodd ei ben yn erbyn ystymog yr Hen Sowldiwr, yr hyn a'i codymodd i'r llawr yn un talp. Wrth adgofio yr amgylchiad, y mae sŵn ei ben yn taro yn erbyn y llawr yn fy nghlustiau, fel pe buasai yn dygwydd y fynyd hon. Trodd Wil ar ei sawdl a cherddodd yn hamddenol tua'r drws. "Llèch" yn grynedig a estynodd iddo yr agoriad, ac yn hyn efe a wnaeth yn gall. Pan oedd Wil yn myned trwy y drws, amneidiodd arnaf fi a Beck i'w ddilyn. Gwrthodais wneyd hyny, oblegid, am y waith gyntaf meddyliais ei fod yn fachgen drwg. Edifarhëais gannoedd o weithiau na buaswn wedi cymeryd ei awgrym. Bu Beck yn gallach na mi, a diangodd am ei fywyd.

Am beth amser, yr oedd y Sowldiwr wedi ei syfrdanu, ond nid wedi ei lwyr orchfygu. Ni welais byth, cynt nac wedi hyn, ddyn â choes bren yn ceisio cyfodi oddiar lawr. Gallwn feddwl ei fod yn un o'r gorchestion mwyaf. Ond i fyny y daeth y *warrior* heb i neb geisio ei helpu. Edrychai fel bustach mewn lladd-dŷ, yr hwn y gwnaed cais aflwyddiannus i'w daro i lawr. Chwythai trwy ei ffroenau yn hyglyw. Gwelais fy ffolineb o beidio dilyn Wil Bryan allan, a chyfodais ar fy nhraed gan feddwl cywiro y camgymeriad. Yr oedd yn rhy hwyr. Y foment nesaf yr oedd y gansen yn fy nhori bob ffordd—ar draws fy mhen, fy ngwâr, fy nghefn, fy nwylaw, fy nghoesau, a phobman ar fy nghorff. Aeth yn nos dywell arnaf a chollais bob ymwybyddiaeth. Nis gwn am ba hyd y bûm yn y sefyllfa hon. Pan ennillais fy synwyrau, teimlwn fel pe buaswn mewn breuddwyd, ac yr oeddwn yn hollol analluog i ymsymud oddiar fy ngorwedd. Tybiwn fod yr ysgol yn wâg, ac eto clywn rywun yn cwyno ac fel pe buasai ar farw. Meddyliwn mai clywed fy nghwynion fy hunan yr oeddwn, a fy mod wedi cael fy ngadael gan bawb i drengu. Gwnaethum ymdrech egnïol i droi fy mhen, a gwelwn ddau neu dri o'r bechgyn yn sefyll wrth ddrws agored yr ysgoldŷ, ac yn edrych yn frawychus iawn. Yr oedd John Beck yn un o honynt. Gwaeddais arno; a phan ddeallodd fy mod yn fyw, rhedodd ataf, a chododd fi ar fy eistedd. Teimlwn fod pob migwrn ac asgwrn o honof yn dyfod oddiwrth eu gilydd. Wedi i Beck fy rhoi i eistedd, er fy syndod gwelwn yr Hen Sowldiwr ar ei gefn ar lawr a'i wyneb wedi glasu, a Bob fy mrawd yn ei ddillad gwaith a chan ddued â'r glöyn ar ei liniau ar ei frest, ac yn ei dagu yn brysur fel y tybiwn i. Er fy nghywilydd, yr wyf yn cydnabod, oblegid rhaid i mi ddyweyd y

gwir, i mi waeddi â hyny o nerth oedd genyf, "Dal ato fo, Bob." Pan ddeallodd Bob fy mod yn fyw, gollyngodd ei afael o'r Sowldiwr, a daeth ataf a dechreuodd nadu. Gwelodd Bob na fedrwn gerdded, a chymerodd fi ar ei gefn, gan adael i'r Sowldiwr ddyfod ato ei hun pryd y gwelai yn oreu. Ymddengys fod Beck, ar ol dianc allan, wedi aros wrth y drws i wrando, ac i weled beth a ddeuai o honof fi. Deallodd yn fuan fy mod yn ei "chael hi." Yn union deg. pwy a elai heibio, wedi bod yn gweithio *stem* y nos, ond Bob fy mrawd. Gwaeddodd Beck arno fod yr Hen Sowldiwr yn fy lladd. Nid oedd eisieu iddo waeddi eilwaith. Rhuthrodd Bob i'r ysgoldŷ, a chlywais y bechgyn oeddynt yn llygad-dystion yn dyweyd iddynt gredu yn sicr pan wnaeth ei ymddangosiad, a'i wyneb cân ddued â'r simdde, mai y gŵr drwg ydoedd wedi dyfod i nol yr Hen Sowldiwr. Daliodd Bob y meistr yn fy nghuro pan oeddwn yn hollol anymwybodol, a rhuthrodd arno fel gwallgofddyn, a dygodd ef i'r llawr gyda'r un sydynrwydd âg y dygwyd ef ychydig fynydau yn flaenorol. Yn y sefyllfa hon y gwelais y ddau pan ddaethum ataf fy hun.

Wel, nid yn y fan yna y terfynodd yr helynt, oblegid yr oedd Bob a minnau a Wil Bryan yn "blant y seiat;" ac nid oedd yn bosibl i amgylchiad fel hwn fyned heibio heb sylw arno. Ond gan y bydd raid i mi gyfeirio at amryw o'r hen dadau duwiol oeddynt yn y seiat y pryd hyny, cymeraf bennod arall i adrodd yr hanes. Pe buaswn yn bwriadu i'r hanes hwn gael ei argraffu, buaswn yn ysgrifenu yn fwy manwl am ysgol Robyn y Sowldiwr, er mwyn i fechgyn y dyddiau hyn weled y dirfawr gynnydd a'r gwelliannau sydd wedi cymeryd lle yn ein hysgolion a'u meistriaid mewn hanner oes.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

ATEBION Y GWYR IEUAINC YN KHASIA I OFYNIADAU MR. THOMAS LEWIS AR BRIODOLIAETHAU DUW.

DARLLENAIS y pum' papyr o atebion i ofyniadau Mr. Lewis gyda llawer o hyfrydwch. Mae yn ymddangos fod y gwŷr ieuainc ar y pryd yn astudio y Priodoliaethau, ond nid oeddynt yn cael ymgynghori âg unrhyw lyfr pan yn ysgrifenu yr atebion, ac ni chaniateid iddynt ond awr o amser i ysgrifenu. Y mae yn rhyfedd eu bod wedi cyrhaedd cymaint o feistrolaeth ar yr iaith Saesoneg fel ag i allu amlygu eu meddyliau ynddi gyda'r fath rwyddineb, a'u bod yn gallu ei hysgrifenu mor gywir. Ond y mae yn rhyfeddach ac yn llawer iawn mwy dyddorol eu bod yn dangos y fath hoffder o wirioneddau mawrion y Gair, a'u bod wedi ennill y fath ddirnadaeth eang a chlir yn eu cylch. Pan oedd Mr. Lewis yn rhoddi gair o hanes ei daith yn Nghyfarfod Misol Arfon, a gynnaliwyd yn Cefnyween, fe feddyliwyd mai dymunol a fuasai i mi ddarllen yr atebion a gawsai efe i'w gwestiynau ar y Priodoliaethau, ac ysgrifenu gair o feirniadaeth arnynt; ac fe benderfynodd y Cyfarfod Misol roddi ychydig wobrau mewn ffordd o ddangos ei werthfawrogiad o lafur y gwŷr ieuainc, a'u calonogi i fyned ymlaen.

Dyma y gofyniadau :—

1. Beth ydych yn ddeall wrth Briodoliaethau Duw?
2. Enwch gynifer ag a alloch o Briodoliaethau Duw.
3. Pa ddosbarthiad o Briodoliaethau Duw a ystyriwch yn oreu
4. Os ydyw Duw yn Fôd anfeidrol dda, pa fodd y cyfrifech am fodolaeth a pharhâd pechod yn y byd?
5. Os ydyw Duw yn anfeidrol drugarog, paham nad allai faddeu pechod heb iawn?

Yr enwau a geir wrth yr atebion ydynt, Kyrton, U Kissorrai, Robin Ray, U Ksanbin, ac U Khnong. Y mae atebion pob un o honynt yn dda; yn wir, y maent yn llawer gwell nag y buaswn i yn dysgwyl eu cael. Ar yr un pryd, y mae tipyn o wahaniaeth rhyngddynt. Mae atebion Kyrton yn gryno a boddhäol; ond prin y maent yn hollol glir. Wedi iddo feddwl ychwaneg, fe ddaw i weled pethau yn fwy eglur. Mae yn amcanu yn rhagorol. Mae U Kissorrai ychydig yn addfetach. Go gloff ydyw ei ateb i'r cwestiwn olaf, nad allai Duw faddeu pechod heb iawn, am y buasai hyny yn newid ei fwriad. Mae Kyrton yn hyn yn well, pan ddywed y buasai maddeu pechod heb iawn yn groes i gyfiawnder Duw. Mae Robin Ray yn gryfach eto. I'r pedwerydd cwestiwn fe ateba efe: "Fe oddefodd Duw i bechod ddyfod i'r byd hwn er dangos ei ogoniant ei hun. Ni fuasem ni yn gweled yn glir gyfiawnder a daioni Duw, &c., pe na fuasai pechod. Er esiampl, yr ydym yn gweled un peth yn wŷn am fod peth arall yn ddu." Ac i'r pummed: "Gan fod cyfiawnder Duw yn galw am i bechod gael ei gosbi, am hyny nid oes drugaredd heb iawn. Y mae ei drugaredd yn cael ei therfynu gan ei berffeithrwydd ef ei hun, sef cyfiawnder." Mae U Ksanbin yn ysgrifenu yn helaethach, ac yn arddangos cof rhagorol o'r hyn a ddarllenasai yn *Outlines* Hodge.

Y mae ei atebion hefyd yn dangos cryn feddwl; ac mewn amser fe ellid dysgwyl iddo ddyfod yn dduwinydd rhagorol. Ond y goreu o'r pump, mi dybygaf, ydyw U Khnong. Y mae ei atebion ef yn dda awn. Dyma hwy yn ei Saesoneg ef ei hun, air yn air, a llythyren am lythyren :—

1. By the attributes of God is meant the perfections of the divine essence which are predicated of him in the scriptures or visibly exercised by him in the spheres of creation and providence. They are not properties or states of the divine essence separable in fact from the divine essence, as are the modes and properties of created spirits. But they are the unchanging states of the divine essence which is as to mode as well as in existence the same yesterday, to-day and for ever and without variableness or shadow of turning.

2. These attributes of God are (1) Trinity. (2) Spirituality. (3) Immensity. (4) Eternity. (5) Intelligence. (6) Will. (7) Power. (8) Justice. (9) Goodness. (10) Truth. (11) Sovereignty, and (12) Holiness.

3. Of all the classifications of the attributes, the natural and moral classification is the best because it essentially belongs to God either with or without the creation.

4. That God has permitted sin and that it was right for him to do so is obvious; but why was it right is a mystery of which no man can solve; but this we might say that it was permitted for a benevolent purpose on the part of God, that is its permission would render less evil than its absolute prevention.

5. That God could not forgive sin without an atonement is, because he is immutably determined by his eternal and essential nature to visit every sin with an adequate proportion, because of its intrinsic ill desert. The scriptures declare that Christ died vicariously in the stead of sinners. They declare also that He must die or sinners perish. This declaration proves that God is determined by his eternal nature to punish sin because of its intrinsic ill desert, and not for the purpose of restraining or governing the world as some say or simply for showing the love of God to man.

U Khnong.

Fel yma y darllenent yn Gymraeg :—

1. Wrth briodoliaethau Duw y meddylir perffeithiau yr hanfod ddwyfol y rhai a briodolir iddo ef yn yr Ysgrythyrau neu yn amlwg a ymarferir ganddo ef mewn creadigaeth a rhagluniaeth. Nid ansoddion neu gyflyrau ydynt yn yr hanfod ddwyfol, yn wahaniaethol oddiwrth yr hanfod ddwyfol, fel y mae moddau ac ansoddion ysbrydoedd crëedig. Ond cyflyrau digyfnewid yr hanfod ddwyfol ydynt, yr hon o ran modd yn gystal ag mewn hanfod sydd yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd, ac heb gyfnewidiad na chysgod troëdigaeth.

2. Y priodoliaethau hyn o eiddo Duw ydynt (1) Trindod, (2) Ysbrydolrwydd, (3) Mawredd, (4) Tragywyddoldeb, (5) Dealltwriaeth, (6) Ewyllys, (7) Gallu, (8) Cyfiawnder, (9) Daioni, (10) Gwirionedd, (11) Penarglwyddiaeth, ac (12) Sancteiddrwydd.

3. O bob dosbarthiad ar y priodoliaethau, y dosbarthiad i naturiol a moesol ydyw y goreu, oblegid y perthyna yn hanfodol i Dduw pa un bynag ai gyda ai heb y greadigaeth.

4. Fod Duw wedi goddef pechod ac fod yn iawn iddo wneyd hyny sydd amlwg, ond paham yr ydoedd yn iawn sydd ddirgelwch na all un dyn ei esbonio; ond hyn a allwn ddyweyd, ei fod wedi ei oddef i ddyben daionus ar ran Duw, hyny yw, y parasai ei oddef lai drwg na'i hollol waharddiad.

5. Ni allai Duw faddeu pechod heb iawn, am ei fod yn ddigyfnewid benderfynol o herwydd ei natur dragywyddol a hanfodol i ymweled â phob pechod â chyfartaledd dyledus [o gosbedigaeth], o herwydd ei gynhenid ddrwg-haeddiant. Fe ddengys yr Ysgrythyrau fod Crist wedi marw yn feichnïol yn lle pechaduriaid. Dangosant hefyd fod yn rhaid iddo Ef farw neu i bechaduriaid gael eu dinystrio. Y mae hyn yn dangos fod Duw yn benderfynol yn ol ei natur dragywyddol i gosbi pechod o herwydd ei gynhenid ddrwg-haeddiant, ac nid i'r dyben o attal neu lywodraethu y byd hwn fel y dywed rhai, neu yn unig er dangos cariad Duw at ddyn.

Fe saif yr atebwyr, yn ol fy marn i, yn y drefn ganlynol :— 1. U Khnong; 2. U Ksanbin; 3. Robin Ray; 4 U Kissorai; 5. Kyrton.

Fe ofynwyd i mi awgrymu pa lyfrau a fyddai oreu roddi iddynt. Mi gynghorwn roddi i U Khnong gyfres y *Cambridge Bible for Schools*, o ba un y mae yn awr 18 cyfrol wedi eu cyhoeddi, pris £2 13s. 6c.; i U Ksanbin, *The Land and the Book*, gan Dr. Thomson, argraffiad 1881, "140 Illustrations and Maps" (Nelson & Sons), pris £1 1s; i Robin Ray, gyfres yr *Hand-books of Bible Classes* (T. & T. Clark) o ba un y mae 11 o gyfrolau wedi dyfod allan, pris 18s. 3c; i U Kissorai, *Conder's Tent Work in Palestine*, 1880 (Bentley), pris 6s., a *Pursuit of Knowledge under Difficulties* (Nimmo), pris 3s. 6c.; ac i Kyrton, *Farrar's Life of Christ*, 1881 (Cassell, Petter, Galpin, & Co.), pris 6s., a *Plain Living and High Thinking*, 1880 (Lond., Hogg), 3s. 6c. Pe buasai *Welsh Calvinistic Methodism* fy anwyl gyfaill o Abertawe mewn argraff, mi gynghoraswn anfon copi i bob un o'r atebwyr. Mi allwn ddysgwyl i'r cyfrolau uchod wneyd dirfawr les yn nwylaw ein brodyr ieuainc yn Khassia. Mi hyderwn hefyd, heblaw eu darllen eu hunain, y byddent yn ddigon cymwynasgar i'w benthyca i'w gilydd. Bendithier hwy fwyfwy â gras i ymgysegru i deyrnas y Gwaredwr mawr.

Daniel Rowlands.

*Bangor,*
13 *Gorphenaf*, 1882.

## Y GYMANFA GYFFREDINOL,

### A GYNNALIWYD YN Y BALA, MEHEFIN 13—16, 1882.

LLYWYDD, — Y Parch. REES JONES, Portdinorwic

EISTEDDIAD CYNTAF Y GYMANFA.

*Nos Fawrth y 13eg, am 6 o'r gloch.*

DECHREUWYD trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. William Williams, Abertawe.

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr, ac aelodau eraill y Gymanfa.

II Penodwyd y Pwyllgorau canlynol:—1. Pwyllgor y Cenadwriaethau oddiwrth Bersonau Unigol.—2. Pwyllgor o Gyfarwyddwyr Sirol y Genadaeth Dramor i ddewis y Cyfeisteddfod Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol.—3. Pwyllgor Arianol.

III. Etholwyd y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth, yn Llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol.

IV. Etholwyd y Parch. David Lloyd Jones, M.A., Llandinam, yn Ysgrifenydd am y flwyddyn nesaf, a'r flwyddyn ganlynol iddi.

V. Traddododd y Llywydd am y flwyddyn flaenorol, y Parch. D. Edwards, ei anerchiad wrth ymadael â'r gadair. Gwnaeth nodiadau ar sefyllfa bresennol y Cyfundeb, ynghyd ag awgrymiadau at y dyfodol. Sylwodd fod llafur y Methodistiaid wedi ei fendithio â llwyddiant mawr o'r dechreuad hyd yr awr hon; a'r cyfrifon a geir yn y blynyddoedd hyn a ddangosent nad yw y llwyddiant wedi peidio. Ar yr un pryd, nid ydys heb achos i bryderu a ydyw ein cynnydd yn ein dyddiau ni yn cwbl gyfateb i gynnydd y boblogaeth; o leiaf, dylem ofyn, ai nid oes ar ein llaw wneuthur rhywbeth pellach er llwyr efengyleiddio trigolion ein gwlad, a hyny heb lacio dim ar ein hymdrechion gyda'r Cenadaethau na chydag unrhyw achos da arall. Ystadegau arianol y Cyfundeb a ddynodant fod bywyd ynddo, a bod yn y bywyd hwnw lawer o rym. Gwir y daroganir drwg i ni o herwydd mawr ddyled ein capelau; ond dylid cofio mai am ddeng mlynedd y byddai raid i'r Methodistiaid gasglu fel y gwnânt yn awr, er talu ymaith eu holl ddyled; ac heblaw hyny, pe cyfrifid gwerth meddiannau y Corff, fe geid fod y gwerth hwnw yn filiwn o bunnau clir wedi tynu ymaith o'r cyfrif swm y ddyled sydd arnynt. O berthynas i ansawdd grefyddol ein Cyfundeb, gellid dyweyd bod yr athrawiaeth a bregethir yn ein plith yn sylweddol yr un ag a ddysgai ein tadau; ac os oes gwahaniaeth o ran dysgyblaeth, y mae rhan o'r gwahaniaeth hwnw, byddwn weithiau yn ofni, yn ffafr y rhai a aethant o'n blaen. O'r hyn lleiaf, dylid pryderu rhag bod gogwydd at fwy o lacrwydd nag a geid ymysg y tadau, ar ambell fater, megys sancteiddrwydd y Sabboth. Llawenhâwn wrth feddwl ein bod yn parhâu i werthfawrogi a choledd y seiat brofiad; ein hyder yw y parhâ y Cyfundeb i wneuthur hyny o genedlaeth i genedlaeth. Y mae yn rhydd i ni ddyweyd ddarfod i'r Methodistiaid fod bob amser yn gefnogol i bob symudiad moesol. Felly y bu ynglŷn â'r achos Dirwestol o'r dechreuad; ac ar y cwbl, mae y Cyfundeb mor gefnogol i Ddirwest heddyw ag y bu erioed Teg yw i ni deimlo yn ddiolchgar mai un o honom ein hunain a fu yn offeryn i gael pasio Deddf Seneddol yn erchi cau y tafarndai ar y Sabboth yn Nghymru. Am Fugeiliaeth eglwysig hefyd, y mae y Methodistiaid yn lled gyffredinol wedi dyfod i gydnabod yr anghenrheidrwydd am dani. O berthynas i hon, fe allai y gellid anturio gofyn, Ai ni byddai hi mewn rhyw bethau yn fwy effeithiol pe ceisid rhoddi iddi wedd fwy dosbarthiadol yn hytrach na'r nodwedd fwy neu lai cynnulleidfäol sydd wedi bod arni hyd yma? Yn ddiweddaf, tra y dymunem o galon feithrin brawdgarwch a chariad yn yr efengyl at bawb o'n cydgristionogion ymhob man, hyderwn y rhoddir i ni oll fod âg un galon, ac âg un enaid yn cydymdrech er ffyniant y Cyfundeb y cawsom ein magu ynddo, ac y derbyniasom gymaint bendith trwyddo.

VI. Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Edwards, Bala; eiliwyd gan y Parch. William Williams, Abertawe; cefnogwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod diolchgarwch gwresog y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. D. Edwards am ei fedrusrwydd yn llywyddu y flwyddyn flaenorol, ac am ei anerchiad.

VII. Cynnygiwyd gan y Parch. W. James, B.A., Manchester; cefnogwyd gan y Parch. W. John, Penybont, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod diolchgarwch gwresog y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. J. Morgan Jones, am ei ddeheurwydd a'i ffyddlondeb yn y cyflawniad o'i swydd fel Ysgrifenydd am y ddwy flynedd ddiweddaf.

VIII. Cynnygiodd y Parch. O. Thomas, D.D., a chefnogodd y Parch. Dr. Edwards, a phenderfynwyd,—Fod Cyfarfod Gweddi yn cael ei gynnal yn y capel am hanner awr wedi wyth bore drannoeth; a rhoddid ar ddeall y dylai bod cyfarfod felly yn cael ei gynnal ynglŷn â phob Cymanfa.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan Mr. William M. Williams, Tanygrisiau.

Cyfarfyddodd y Gwahanol Bwyllgorau am hanner awr wedi wyth bore Mercher.

### AIL EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Dydd Mercher, am 9 30 y bore.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Griffith Ellis, M.A., Bootle.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

IX. Trefnwyd y Gymanfa Gyffredinol nesaf i fod yn Abertawe: yr amser i'w hysbysu eto.

X. Cyflwynwyd Adroddiad Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Dramor am y flwyddyn ddiweddaf gan yr Ysgrifenydd, y Parch. Josiah Thomas, M.A., a Mr. J. Griffith, Egremont, y Trysorydd,—ynglŷn â pha un y crybwyllwyd engreifftiau nodedig o haelioni a ffyddlondeb cyfeillion o amryw leoedd tuag at y Genadaeth, ynghyd âg esiamplau amlwg o lwyddiant y gwaith ar y Bryniau yn ystod y flwyddyn.

A ganlyn ydyw Ystadegau y Genadaeth ar Fryniau Khasia a Jaintia am y flwyddyn yn diweddu Mawrth 31ain, 1882.

Mae ar ein maes cenadol yn India saith o genadon, pob un yn gofalu am ran neillduol o'r wlad, yn cynnwys nifer o eglwysi ac ysgolion dyddiol. Mae hefyd naw o bregethwyr wedi eu derbyn yn rheolaidd i'r Henaduriaeth, heblaw amryw eraill ymhob un o'r dosbarthiadau sydd yn arfer pregethu bob Sabboth, er nad ydynt wedi eu cymeradwyo fel Efengylwyr rheolaidd. Mae yr ystadegau a dderbyniwyd yn anghyflawn o un dosbarth, sef Shella. Er fod yma ddeg o eglwysi, ni dderbyniwyd ystadegau ond o chwech; ymddengys, mor bell ag y cafwyd hysbysrwydd, fod yr achos yno wedi myned yn ol yn hytrach nag ymlaen, yn agos yr oll o'r pentrefi oddieithr pentref Shella ei hun. Eto, gwelir wrth gymharu ystadegau eleni â'r cyfrifon am y flwyddyn flaenorol fod ychwanegiad o 15 yn nifer y cymunwyr, o 44 yn nifer yr ymgeiswyr, ac o 53 yn nifer y plant sydd yn yr eglwys. Yr oedd nifer yr holl rai sydd yn yr eglwysi yn fwy o 112 ar ddiwedd Mawrth, 1882, nag ar ddiwedd Mawrth, 1881. Yr oedd y nifer yn yr Ysgolion Sabbothol, a gadael allan y lleoedd yn Nosbarth Shella, o'r rhai na chafwyd cyfrif, yn 2936—cynnydd o 18. Bedyddiwyd 44 o rai mewn oed a 54 o blant yn ystod y flwyddyn. Derbyniwyd i gymundeb, 36; i'r eglwysi ar brawf, 126; bu farw, 41; gwrthgiliodd, 40; diarddelwyd, 66. Yr oedd cyfanswm y casgliadau yn £274 7s. 2c., ar gyfer £154 15s. y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd rhan fawr o'r ychwanegiad hwn yn eglwys Nongsawlia, lle y gwnaed ymdrech egnïol iawn i doi y capel.

Cynnygiwyd gan y Parch. D. Edwards, Casnewydd, cefnogwyd gan Mr. Griffiths, Rock a phenderfynwyd,—Fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu; a'n bod yn dymuno cydnabod daioni yr Arglwydd yn ei amddiffyn hyd yma dros ein Cenadaeth, ac yn ei fendith amlwg arni.

XI. Rhoddodd Mr. Thomas Lewis, Bangor, adroddiad am ei ymweliad diweddar â'n Gorsafoedd ar Fryniau Khasia. Gwrandäwyd gyda phleser mawr ar ei adroddiad dyddorol a chalonogol. Dygodd Mr. Lewis dystiolaeth uchel am ystâd yr achos yn yr holl ddosbarthiadau ar y Bryniau. Mae'r gwaith mawr yn dra llwyddiannus—yr eglwysi, yr Ysgolion Sabbothol, a'r ysgolion dyddiol, a phob peth yn cael ei ddwyn ymlaen mewn gwedd hollol Fethodistaidd. Crybwyllodd Mr. Lewis y dymunoldeb fod llythyr yn cael ei anfon oddiwrth y Gymanfa at y brodorion yn yr eglwysi fel math o anerchiad, ac hefyd y byddai yn dda i'r Gymanfa anfon ambell lythyr at y Cenadon, mewn ffordd o gefnogaeth iddynt yn eu gwaith. Cyfeiriodd hefyd at y ffaith iddo gyfarfod â Mrs. Brownlow, merch y diweddar Thomas Jones, ein cenadwr cyntaf i'r India, yr hon sydd yn gweithio yn dra ffyddlawn o blaid crefydd ein Harglwydd Iesu Grist. Darllenodd lythyr tra dyddorol oddiwrth blant y Khasiaid at blant Cymru, yn cydnabod eu diolchgarwch mawr am fod yr efengyl wedi cael ei hanfon atynt. Yr oedd y Gymanfa o dan deimlad dwys wrth wrando ar yr adroddiad cysurus.

Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Owen Thomas, eiliwyd gan y Parch. Thomas Levi, a phenderfynwyd,—Ein bod fel Cymanfa yn mawr lawenhâu wrth weled ein hanwyl frawd Mr. Thomas Lewis yn ein plith, wedi ei ymweliad â'n maes cenadol ar Fryniau Khasia a Jaintia, ac yn teimlo yn dra diolchgar am yr amddiffyn Dwyfol a fu dros ei einioes a'i iechyd er ei lafur caled ar ei deithiau meithion yn ystod ei absennoldeb o Frydain, ac yn neillduol am yr adroddiad cysurus a roddwyd i ni ganddo am ansawdd ein Cenadaeth yn yr India, gan hyderu y bydd i'r dystiolaeth werthfawr a ddygir ganddo am yr hyn a welodd â'i lygaid ei hunan am ansawdd y gwaith yno fod yn foddion er dwysâu ein teimlad a chynnyddu ein casgliadau trwy y wlad yn gyffredinol tuag at yr achos cenadol.

XII. Yn unol â chrybwylliad Mr. Lewis, penderfynwyd ar gynnygiad y Parch. David Edwards, Casnewydd, ac eiliad y Parch. W. Williams, Abertawe, fod llythyrau i gael eu hanfon oddiwrth y Gymanfa at y Cenadon a'r brodorion yn yr India, ac hefyd at Mrs. Brownlow.

XIII. Penderfynwyd ar gynnygiad y Parch. Robert Roberts, Dolgellau, ac eiliad y Parch. John Jones, Tregaron, fod y llythyrau hyn i gael eu hysgrifenu gan y Parchedigion Dr. Owen Thomas, Dr. Edwards, Roger Edwards, a William Williams, Abertawe, a Mr. Thomas Lewis, a'u bod i gael eu darllen yn y Gymanfa hon,

a chael eu llawnodi gan y Cadeirydd a'r Ysgrifenyddion.

XIV. Ar gynnygiad y Parch. Thomas Levi, ac eiliad Mr. Williams, Bodffari, penderfynwyd ein bod yn annog Mr. Thomas Lewis, yn y modd taeraf, i gydsynio, mor belled ag y gallo, â'r gwahoddiadau oddiwrth y gwahanol Gyfarfodydd Misol neu oddiwrth unrhyw eglwysi neillduol i ymweled â hwy i'r dyben o roddi hanes ei daith ac o'r hyn a welodd ynglŷn â'r achos yn yr India.

XV. Cyflwynwyd Mr. William Jenkyn Jones, y Cenadwr sydd ar fyned i Lydaw, i'r Gymanfa gan Ysgrifenydd y Genadaeth. Anerchodd Mr. Jones y Gymanfa, gan adrodd ei awydd a'i gymhelliadau o'i febyd i ymgyflwyno i'r gwaith Cenadol. Rhoes Mr. Jones hefyd hanes yr hyn a welodd ac a glywodd yn Llydaw yn ystod amser ei arosiad hyd yma yn y wlad hono. Proffesai hyder cryf am lwyddiant dyfodol ein Cenadaeth yn Llydaw, a deisyfai gydweithrediad a gweddïau ei frodyr drosto yn ei lafur ar y maes y mae ar fedr cychwyn iddo.

XVI. Wedi gwrandaw anerchiad Mr. Jones, cynnygiodd Mr. Roberts, Tan'rallt, fel Cadeirydd y Cyfeisteddfod Gweithiol, eiliodd y Parch. Dr. Edwards, cefnogodd y Parch. W. Williams, Abertawe, a phenderfynwyd,—(1) Ein bod yn cymeradwyo y genadwri a dderbyniwyd oddiwrth y Cyfeisteddfod Gweithiol a'r Cyfarwyddwyr Sirol gyda golwg ar Mr. W. Jenkyn Jones, ac yn ei benodi i fod yn Genadwr yn Llydaw.—(2) Fod ei gyflog i fod yn ol £150 y flwyddyn i ddechreu o'r Gymanfa hon.—(3) Ei fod i gael ei gyflwyno i'w ordeinio yn y Gymdeithasfa nesaf yn y Deheudir yn mis Awst.

XVII. Penderfynwyd, ar gynnygiad y Parch. Thomas Levi, ac eiliad Mr. William Griffiths, Rock, fod yr annogaethau canlynol o gyfarfod y Cyfarwyddwyr gyda golwg ar drefnu rhyw foddion i gael ein holl eglwysi yn gyffredinol i gymeryd rhan effeithiol gyda'r achos Cenadol, yn cael eu cymeradwyo.

Teimlir yn ddiolchgar am yr ymdrech ychwanegol a wnaed y flwyddyn ddiweddaf i gyfarfod â threuliadau cynnyddol y Gymdeithas; ond gan fod eto lawer o'n cynnulleidfäoedd heb wneyd ond ychydig at yr achos Cenadol, a rhai heb wneuthur dim, ein bod, er mwyn dwysâu yr ysbryd Cenadol yn ein heglwysi,—(1) Yn dymuno galw sylw at y 6ed o Reolau y Gymdeithas, wrth yr hon y trefnir "Fod y ddau Gyfarwyddwr Sirol, gydag Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, a Thrysorydd ac Ysgrifenydd Sirol y Genadaeth, i fod ymhob Sir neu Gyfarfod Misol yn Gyfeisteddfod i ofalu am yr achos Cenadol, gwneuthur trefniadau tuag at gynnal cyfarfodydd, ac i arfer pob moddion a farner yn briodol er cynnyrchu teimlad a gweithgarwch o blaid yr achos Cenadol yn y Sir," ac fod yr Ysgrifenydd Cenadol yn y Sir i fod yn gynnullydd y Cyfeisteddfod.—(2) Ein bod yn annog fod y Cyfeisteddfod hwn yn gofalu ar fod y Genadaeth Dramor yn cael ei dwyn yn effeithiol bob blwyddyn ger bron pob cynnulleidfa fyddo mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Misol, naill ai trwy gynnal cyfarfod Cenadol cyhoeddus, neu trwy bregethau Cenadol ar Sabboth penodedig, neu—gan fod yn anmhosibl i'r Ysgrifenydd Cenadol ymweled yn flynyddol â phob lle—trwy benodi brawd i ymweled â Dosbarth neillduol neu ran o wlad i ddadleu hawliau yr achos; a'n bod yn dymuno ar fod i adroddiad gael ei ddwyn i'r Gymanfa Gyffredinol, trwy y Cyfeisteddfod Gweithiol, o'r hyn fydd yn cael ei wneuthur ymhob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth.—(3) Er mwyn sicrhâu dyddordeb a chydweithrediad y gwragedd, y merched ieuainc, a'r plant gyda'r achos Cenadol, ein bod yn annog ar fod i Gangen Cymdeithas y Merched gael ei sefydlu ymhob cymydogaeth.—(4) Ein bod yn dymuno ar i'r Cyfeisteddfod hwn ymhob Cyfarfod Misol drefnu i ddwyn y cylchgrawn Cenadol, NEWYDDION DA, i sylw, ac ymdrechu sicrhâu lledaeniad helaeth iddo; yn gystal â'r papyr achlysurol, *Glad Tidings*, sydd yn rhoddi yn yr iaith Saesoneg hysbysrwydd cryno am waith ein Cenadaeth.

XVIII. Cynnygiodd Mr. D. Roberts, Tan'rallt, ar ran y Cyfarwyddwyr Sirol, cefnogodd Mr. W. Griffiths, Rock, a phenderfynwyd,—Fod y bedwaredd o Reolau y Gymdeithas Genadol Dramor i fod rhagllaw fel y canlyn—Fod y Gymanfa Gyffredinol, er mwyn cario allan amcanion y Genadaeth Dramor, yn penodi Cyfeisteddfod Gweithiol, cynnwysedig o un ar hugain o aelodau, yn weinidogion, blaenoriaid, ac eraill sydd yn aelodau o'r Corff, ac yn danysgrifwyr at y Gymdeithas Genadol, o Liverpool a'r gymydogaeth (tra byddo y lle hwnw yn gartrefle y Gymdeithas); fod tri o'r aelodau i fyned allan bob blwyddyn, heb eu bod yn agored i gael eu hail ddewis am y flwyddyn hono, ac eraill i gael eu dewis yn eu lle—y cyfryw i gael eu henwi gan y rhai fyddo yn aros ar y Cyfeisteddfod, i'w cyflwyno i'r Gymanfa Gyffredinol yn flynyddol, a bod enwau yr holl aelodau ynghyd ag enwau swyddogion eraill y Gymdeithas, i gael eu darllen fel rhan o'r Adroddiad yn y cyfarfod cyhoeddus; fod y Cyfeisteddfod i ddewis dau o'u haelodau i'w cynnrychioli yn y Gymanfa Gyffredinol; fod y ddau Drysorydd, yr Ysgrifenydd Cyffredinol, Llywyddion blaenorol y

Gymanfa Gyffredinol a fyddo yn byw yn Liverpool, a Chyfarwyddwr Meddygol y Gymdeithas, i fod wrth eu swydd yn aelodau o'r Cyfeisteddfod Gweithiol ac o'r Gymanfa Gyffredinol.

XIX. Penderfynwyd, ar gynnygiad D. Roberts, Ysw., Tan'rallt, ac eiliad y Parch. T. J. Wheldon, B.A , fod y gair *cynnrychiolwyr* i fod yn lle y gair *personau* yn Rheol V., a bod y Rheol i ddarllen fel y canlyn : "Er cynnorthwyo y Cyfeisteddfod Gweithiol, yn enwedig mewn amgylchiadau yn gofyn cydymgynghoriad, ac er mwyn cymeryd gofal arbenig o'r achos Cenadol yn eu hamrywiol Siroedd, fod pob Cyfarfod Misol i ddewis gweinidog a blaenor i fod yn Gyfarwyddwyr Sirol. Fod y Cyfarwyddwyr hyn i barhâu yn eu swydd am dair blynedd, ac i fod wrth eu swydd o nifer y cynnrychiolwyr sydd i'w hanfon gan bob Cyfarfod Misol i'r Gymanfa Gyffredinol. Pob un o'r Henaduriaethau i ddewis un Cyfarwyddwr."

XX. Cynnygiodd y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, cefnogodd y Parch. John Davies, Bontddu, a phenderfynwyd, —Fod y personau canlynol i fod yn Gyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth am y flwyddyn ddyfodol :—Y Parchn. Richard Lumley, Egremont; Dr. O. Thomas, 46, Catherine Street; Dr. J. Hughes, 16, Richmond Terrace; Hugh Jones, 16, St. Domingo Grove; O. Jones, B.A., 143, Bedford Street; O. Owens, Northumberland Terrace; J. Thomas, B.A., Amberley Street; G. Ellis, M.A., Bootle; P. Jones, Birkenhead; D. Williams, 26, Newlands Street; J. Foulkes, York Terrace; Mri. R. Gee, M.D., Abercromby Square; J. Williams, Moss Bank; T. Lloyd, 52, Everton Road; Eleazer Pugh, 16, Falkner Street; John Roberts, A.S., 63, Hope Street; T. Jones, 81, Parliament Terrace; D. Hughes, U.H., St. Domingo Grove; W. Patton, 5, Newlands Street; T. Jones, Garston; J. Harrison Jones, Thackeray Street; Thomas Hughes, Bank; Edward Owen, Bootle; Samuel Williams, Birkenhead; John Lewis, Hope Street.

TRYDYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Am Ddau o'r gloch y prydnawn.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Morris Morgan, Treforris.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XXI. Cynnygiodd y Parch. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth, cefnogwyd gan y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, a phasiwyd yn unfrydol,—Fod diolchgarwch mwyaf gwresog y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i Mr. John Griffith, Trysorydd Cyffredinol y Genadaeth Dramor; i Mr. David Roberts, Trysorydd y Cyllid at Gynnorthwyo Cenadon Methedig; i Dr. Gee, Cyfarwyddwr Meddygol y Genadaeth; i'r Parch. J. Thomas, M.A., yr Ysgrifenydd Cenadol; i Mri. D. P. Davies a J. Harrison Jones, Archwilwyr y Cyfrifon, ac i'r Cyfeisteddfod Gweithiol, am eu ffyddlondeb a'u gwasanaeth gydag achosion y Genadaeth dros ystod y flwyddyn ddiweddaf.

XXII. Cynnygiwyd gan y Parch. J. Rees Owen, Penfro, cefnogwyd gan y Parch. William Williams, Birmingham, a phenderfynwyd,—Fod Mri. Daniel P. Davies a J. Harrison Jones i fod yn Archwilwyr Cyfrifon y Gymdeithas Genadol y flwyddyn hon.

XXIII. Cynnygiwyd gan Mr. E. Lewis, Mostyn, cefnogwyd gan y Parch. J. Pritchard, Birmingham, a phasiwyd yn unfrydol,—Ein bod yn llawenhâu oblegid yr arwyddion ychwanegol yr ydym yn awr yn eu cael fod llafur y Parch. James Williams wedi bod yn fendithiol yn Llydaw, a bod seiliau da i fod yn obeithiol am lwyddiant dyfodol ein Cenadaeth yn y wlad hono.

XXIV. *Adroddiad Pwyllgor y Llyfrau.*

1. Darllenwyd a chadarnhäwyd cofnodau y cyfarfod blaenorol.—2. Hysbysodd yr archwilwyr i gyfrifon y ddwy *Drysorfa* a'r *Treasury*, eu bod wedi cael y cyfan yn gywir.—Penderfynwyd ein bod yn llawenhâu yn yr ychwanegiad sydd wedi bod yn nghylchrediad y DRYSORFA y flwyddyn ddiweddaf, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa ynghyd a'r Cyfarfodydd Misol, i wneuthur pob ymdrech er sicrhâu i'r cyhoeddiad hwn, ynghyd a'r cyhoeddiadau eraill, *Trysorfa y Plant* a'r *Treasury*, dderbyniad helaethach ymhob man, er budd ysbrydol ein cynnulleidfaoedd, ac er eu dwyn i gydnabyddiaeth helaethach a chydymdeimlad mwy llwyr â symudiadau y Cyfundeb.—3. Penodwyd Mri. R. Rowland, Ffestiniog, a D. J. Davies, Aberystwyth, yn archwilwyr i gyfrifon y ddwy DRYSORFA a'r *Treasury* am y flwyddyn 1882, a diolchwyd yn wresog iddynt am eu gwasanaeth blaenorol.—4. Penderfynwyd fod y *Treasury* i gael ei chyhoeddi yn ei ffurf bresennol am y dyfodol, a chaniatäwyd punt y flwyddyn fel gwobrau mewn cysylltiad â'r Dosbarth Biblaidd a gyhoeddir ynddi.—5. Derbyniwyd hysbysiad oddiwrth y Pwyllgor a benodasid i geisio helaethu cylchrediad ein gwahanol Gylchgronau, eu bod wedi anfon allan *circulars* i'r amcan hwn, ond eu bod wedi profi ar y cyfan yn aflwyddiannus.—6. *Adroddiad Is-bwyllgor y Llyfr Hymnau Saesoneg.*—Mynegent fod rhagor o gopïau o'r Llyfr Hymnau Saesoneg ar law nag a dybient; felly ei bod yn rhy gynnar i wneyd cyttundeb newydd gyda golwg ar ei argraffu yn y dyfodol. Yr oeddent wedi cyttuno â Mri. D. Williams & Son i'w gyhoeddi hyd ddiwedd y

flwyddyn 1882, ar y telerau canlynol:—1 Fod yr un *royalty* i gael ei dalu arno ag o'r blaen. 2. Nad oes dim rhagor o gopïau o unrhyw argraffiad o hono i gael eu hargraffu. 3. Fod y copïau sydd ar law gan y Cyhoeddwyr i gael eu cyfrif, a bod *account* misol o honynt i gael ei roddi i'r Pwyllgor. Derbyniwyd adroddiad yr Is-bwyllgor, a diolchwyd yn wresog iddynt am eu gwasanaeth, a phenderfynwyd eu bod i barhâu am flwyddyn eto, gyda'r un awdurdod ag o'r blaen.—7. Derbyniwyd *Statement of account* oddiwrth Mr. D. H. Jones, Dolgellau, gyda golwg ar werthiant y *Cyffes Ffydd*, &c., a chyflwynwyd ef i Is-bwyllgor gwerthiant llyfrau, gan roddi llawn awdurdod iddynt i'w derfynu.—8. Penderfynwyd fod Golygwyr y Cylchgronau a'r Dyddiaduron i barhâu am flwyddyn eto, gyda yr un gydnabyddiaeth ag o'r blaen.—9. Hysbysai Mr. David Jenkins, Aberystwyth, fod yn ei fryd i ddwyn allan lyfr tônau ar gyfer y cynnulleidfaoedd Saesoneg, yn cyfateb i'r Llyfr Hymnau Saesoneg, a gofynai gefnogaeth y Gymanfa iddo. Penderfynwyd ein bod fel Cymanfa yn llawenhâu fod hyn yn mwriad Mr. Jenkins, ac yn ymrwymo na ddygir allan gan y Gymanfa, ac na roddir caniatâd i neb arall ddwyn allan lyfr tônau ac emynau yn un llyfr dan nawdd y Gymanfa am yr yspaid o ddeng mlynedd.—10. Derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth, mewn atebiad i gais o eiddo y Gymanfa Gyffredinol, ato ar iddo ddwyn allan gofiant Mr. Charles o'r Bala; penderfynwyd ein bod yn mawr lawenhâu fod yn ei fwriad gydsynio â'n cais yn hyn.—11. Rhoddwyd caniatâd i Bwyllgor yr Ysgol Sabbothol i ddwyn *medal* allan ar gyfer canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol, heb fod yn fwy ei bris na dwy geiniog.—12. Hysbysodd y Parch. W. Williams, Abertawe, fod yn ei fryd ddwyn allan argraffiad newydd o *Welsh Calvinistic Methodism*, gan fod yr argraffiad blaenorol wedi ei lwyr werthu. Penderfynwyd fod yn dda genym ddeall hyn, a'n bod yn dymuno rhoddi pob cefnogaeth iddo.—13. Hysbyswyd mai y rhai sydd yn myned allan o'u swydd eleni fel aelodau o Bwyllgor y Llyfrau, yw y Parchn. Robert Roberts, Dolgellau; D. Saunders, Abertawe; Mri. Thomas Harries, Trellan; ac Edward Griffith, Dolgellau. Ailetholwyd hwynt trwy y tugel; a chymeradwywyd yr Adroddiad gan y Gymanfa.—J. M. JONES, *Ysgrifenydd.*

XXV. *Adroddiad Pwyllgor y Cenadwriaethau oddiwrth bersonau unigol.*

Derbyniwyd cenadwri o Lundain yn dymuno ar eglwysi yn y wlad i beidio derbyn personau yn aelodau eglwysig o Lundain a lleoedd eraill heb fod tocynau aelodaeth ganddynt. Mewn atebiad i'r genadwri hon, penderfynwyd,—Ein bod yn dymuno cyflwyno i'r ddwy Gymdeithasfa yn y Deheu a'r Gogledd y priodoldeb o alw sylw ein Cyfarfodydd Misol, a thrwyddynt hwy swyddogion ein heglwysi yn gyffredinol, at yr anghenrheidrwydd o fod yn ofalus am gadw at y Rheol sydd genym yn ein *Cyffes Ffydd*—na byddo unrhyw aelod, pan yn symud o un eglwys i'r llall, yn cael derbyniad i aelodaeth yn yr eglwys y ceisir ymuno â hi oddieithr fod ganddo y tocyn arferol er prawf o'i aelodaeth.—Hefyd, dymunir cyflwyno i sylw y ddwy Gymdeithasfa y priodoldeb o gymeryd i ystyriaeth, oni fyddai yn ddoeth, yn ngwyneb yr anhawsder a deimlir gan lawer o'n gwrandäwyr o deimlad gwyleidd i dori trwodd i ymddangos yn y cyfarfodydd eglwysig, ac yno i ddyweyd eu teimladau a'u hawydd i fod yn aelodau, i drefnu rhyw foddion i'r cyfryw rai gael cyfleusdra i siarad o barth i hyn â'r swyddogion ar eu penau eu hunain?

XXVI. Gwnaed sylw ar benderfyniad a basiwyd yn Nghymanfa Gyffredinol Ffestiniog, yn 1879, o berthynas i gael un gronfa gynnorthwyol i'r holl Gyfundeb. Ynglŷn â hyn, cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Edwards, Bala, cefnogwyd gan y Parch. T. Levi, a phenderfynwyd,—Fod y mater yma, ar hyn o bryd, yn cael ei oedi.

XXVII. Cyflwynwyd yr Adroddiad oddiwrth y Pwyllgor Arianol:—

1. Darllenwyd a chymeradwywyd Cyfrifon y Trysorydd.—2. Ein bod yn derbyn cynnygiad Mri. P. M. Evans & Son i argraffu Cylchlythyr y Gymanfa am y tair blynedd nesaf am y swm o £15 18s. 6c. yn flynyddol, treuliadau y cludiad i fod yr un â'r flwyddyn hon, a'n bod yn awdurdodi Mr. Robert Rowland i dynu allan ac arwyddo y cyttundeb ar ran y Gymanfa.—3. Penderfynwyd rhoddi i'r Parch. Robert Roberts, Dolgellau, am ei lafur gyda'r Adroddiad ar Feddiannau y Cyfundeb, a'r treuliadau, y swm o £15.—4. Penderfynwyd,—Fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i Mr. R. J. Davies am ei wasanaeth ffyddlawn fel Trysorydd y Gymanfa.—5. Pasiwyd pleidlais o ddiolchgarwch i'r Cadeirydd.—EDWARD DAVIES, *Cadeirydd;* ROBERT ROWLAND, *Ysgrifenydd.*

Cynnygiwyd gan Mr. R. Rowland, Ffestiniog, cefnogwyd gan Mr. James James, Pentremawr, a phenderfynwyd,—Fod Adroddiad y Pwyllgor Arianol yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu.

XXVIII. Galwodd Mr. Rowland, Ffestiniog, sylw at yr anhawsderau y mae y Parch. R. Roberts, Dolgellau, yn llafurio yn eu hwyneb wrth ymdrechu cael iawn gyfrif o werth meddiannau y Cyfundeb. Wedi ychydig eiriau gan y Parch. R. Roberts ei hun, rhoed annogaeth i gyfeillion o'r Cyfarfodydd Misol sydd heb anfon yr adroddiadau y gofynir am danynt, i brysuro gwneuthur hyny, fel y cwblhäer y gorchwyl y mae Mr. Roberts wedi ymgymeryd âg ef.

XXIX. Cynnygiodd Dr. Gee, Liverpool, cefnogodd y Parch. David Edwards, Casnewydd, a phasiwyd yn unfrydol,—Ein bod yn cydnabod gyda diolchgarwch dwfn y rhwymedigaeth yr ydym dani i'r Parch. Robert Roberts, Dolgellau, am y llafur mawr y mae wedi myned iddo, a'r ffyddlondeb y mae trwy bob dyfalbara wedi ac yn ei ddangos ynglŷn â chael adroddiad ar Feddiannau y Cyfundeb.

XXX. Cyflwynwyd y Parch. Owen Robert Morris, Minnesota, i'r Gymanfa gan Mr. William Williams, Tanygrisiau. Darllenwyd tystlythyr iddo oddiwrth ein brodyr yn America, a chafwyd anerchiad dyddorol gan Mr. Morris am ansawdd crefydd ymysg ein cydgenedl yn ngwlad y Gorllewin. Cynnygiwyd gan y Parch. Thomas Levi, ac eiliwyd gan y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug,—Ein bod yn croesawu y brawd Mr. Morris i'n plith, ac yn dymuno iddo bob cysur tra yn ein gwlad, a phob derbyniad gan ein heglwysi, a phan y dychwelo i'w wlad, ar fod iddo gael pob diogelwch a rhwyddineb ar ei daith; ac hefyd, pan gyrhaeddo gartref, bod iddo ein cofio fel Cymanfa yn y modd serchocaf at ein brodyr yn y Gymanfa yn yr America.

Yn yr hwyr, am chwech o'r gloch, yn y capel, cynnaliwyd Cyfarfod Cenadol cyhoeddus: y Parch. Rees Jones yn llyw yddu. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. W. Meidrim Jones. Mr. J. Griffith, Trysorydd y Gymdeithas Genadol Dramor, a alwodd sylw y cyfarfod at y ffaith gysurlawn a chalonogol fod, yn ystod y flwyddyn a aeth heibio, gynnydd wedi bod yn y casgliad at y Genadaeth o fewn cylch agos yr oll o'r Cyfarfodydd Misol, a bod, mewn rhai lleoedd, gynnydd pur fawr. Anerchwyd y cyfarfod gan y Parch. Josiah Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Genadaeth; y Parch. James Williams, gynt o Lydaw; Mr. W. Jenkyn Jones, y Cenadwr penodedig i Lydaw gan y Gymanfa hon; a'r Parch. W. Williams, Abertawe. Bwriedid y cyfarfod hwn, ymlaenaf dim, yn gyfleusdra i wrandaw ar Mr. Thomas Lewis, Bangor, yn rhoddi hanes cyflan o'r hyn a welodd ac a glywodd yn ystod ei ymweliad diweddar â maes ein Cenadaeth yn India. Gwnaeth Mr. Lewis hyny, mewn araeth faith a thra chyflawn o ddefnyddiau boddhâd ac addysg i bawb oedd yn gwrando. Ar ol hyny, cynnygiodd y Parch. Dr. Edwards, a chefnogodd y Parch. Richard Lumley,—Ein bod yn gwneyd arwydd o'r diolchgarwch deublyg a'r sydd yn ddyledus oddiwrthym i Mr. Lewis: yn gyntaf, am ddarfod iddo fyned drosodd i India i weled y gwaith yno, ar ei draul ei hun yn hollol; a chyda hyny hefyd, am yr araeth a wrandawsom heno, ymha un y cydgyfarfyddai yr hyn a'i gwnelai yn ddifyr i'w gwrando, ac hefyd yn fuddiol i'w chofio, a gwneuthur yn ol y gwersi a gynnwysai. Darfu i'r gynnulleidfa, heb un yn peidio, arwyddo eu cydsyniad â'r cyflwyniad hwn o ddiolchgarwch; a therfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. Roger Edwards.

*(I'w barhau.)*

### TREFN Y PREGETHU.

Nos Fawrth, Mehefin 13, yn nghapel yr Annibynwyr, dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. L. Ellis, Rhuddlan, a phregethodd y Parch. W. Lewis, Pontfaen, a W. Selwyn Davies, Abertawe.

Dydd Iau, am hanner awr wedi pump y prydnawn, yn nghapel y Methodistiaid, dechreuwyd gan y Parch. W. Williams, Birmingham, a phregethwyd gan y Parchn. W. John, Penybont, a R. Lumley, Liverpool, Yr un amser yn nghapel yr Annibynwyr, dechreuodd y Parch. J. R. Owen, Penfro, a phregethodd y Parchn. T. Levi, Aberystwyth, a Rees Jones, Felinheli.

Dydd Gwener, am 6 yn y bore, yn nghapel y Methodistiaid, dechreuodd y Parch. J. Jones, Tregaron, a phregethodd y Parchn. T. Roberts, Bethesda, Arfon, a T. E. Edwards, Rhymni.

Cynnaliwyd yr oedfäon dilynol ar y *Green*, yr hen lanerch fyth-gofiadwy mewn cysylltiad â "Sasiwn y Bala."

Am 10, dechreuodd y Parch. W. Pierce, yr Wyddgrug, a phregethodd y Parchn. T. Charles Edwards, M.A., Aberystwyth, a W. Williams, Abertawe. Am 2, dechreuodd y Parch. E. Williams, Nefyn, a phregethodd y Parchn. D. Lloyd Jones, M.A., Llandinam, a Dr. O. Thomas. Ac am hanner awr wedi pump, dechreuodd y Parch. O. R. Morris, America, a phregethodd y Parchn. J. Pritchard, Amlwch, a R. Edwards, yr Wyddgrug.

---

## CYMDEITHASFA LLANGEFNI.

MEHEFIN 28, 29, A'R 30AIN, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

DYDD MERCHER, MEHEFIN 28AIN.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, ac o'r Gymanfa Gyffredinol:—

O *Sir Fôn:*—Penderfynwyd fod y Parch. S. A. Frazer i weithredu ar y Cyfeisteddfod Dirwestol perthynol i'r Gymdeithasfa, yn lle y Parch. J. Pritchard, Amlwch.—JOHN WILLIAMS, *Ysg.*

O *Leyn ac Eifionydd:*—Gofynir am gadarnhâd y Gymdeithasfa o ddewisiad Robert Jones, Ysw., U.H., Pwllheli, yn Gyfarwyddwr Athrofa y Bala, yn lle Mr. Watkins, gynt o Clenneney.—D. ROBERTS, *Ysg.*

O *Sir Fflint:—Rheolau Derbyn Pregethwyr.* Yr ydym yn cymeradwyo y Rheol 1af a'r 2il, ond yn dymuno gadael allan "ac yn pleidleisio" yn y 3edd Reol. Oni fyddai yn well penodi gwaith yr ymgeisydd bob tro, am y pedair gwaith yn ei gylch? Dymunir gadael allan "&c." yn Rheol 4, "Rhodder rhyddid iddo bregethu trwy yr holl Sir" yn lle "fel pregethwr i'r holl Sir." Cymeradwywyd hefyd Rheol 5ed; ond dymunir galw sylw y Gymdeithasfa nad' oes yn hon un reol gyda golwg ar fynediad un i'r Athrofa. Gan fod ammheuaeth am ystyr y 6ed Reol, yr ydym yn meddwl fod yr *hen* yn *well.*—*Dewis Gweinidogion ar Eglwysi.* Yr ydym yn cymeradwyo y Rheol 1af, 2il, a'r 3edd, ond yn dymuno difodiad y 4edd Reol. Hefyd, yn ol awgrymiad Cymdeithasfa Llanidloes, yr ydym yn foddlawn i drosglwyddo yr achos Seisonig yn Nghaergwrle i Henaduriaeth Caer a Lancashire.—JOHN JONES, *Ysgrifenydd.*

O *Ddwyrain Meirionydd:*—Dymunir i'r Gymdeithasfa gadarnhâu ein dewisiad o'r Parch. J. H. Hughes yn Gyfarwyddwr yr Athrofa, yn lle y diweddar Barch. John Williams, Llandrillo.—E. PETERS, *Ysgrifenydd.*

Hysbyswyd hefyd fod Dr. Llugwy Owen wedi ei ddewis gan Gyfarfod Misol Dyffryn Conwy yn Gyfarwyddwr yr Athrofa, ac fod anghen cadarnhâu y dewisiad.

O'r *Gymanfa Gyffredinol:*—Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala, Meh. 13—16, 1882, bu ymgynghoriad, ymhlith pethau eraill, o berthynas i gael cynllun unffurf rhwng De a Gogledd i godi pregethwyr; ac ar gynnygiad y Parch. Griffith Ellis, M.A., Bootle, ac eiliad y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth, penderfynwyd,—Ein bod yn cyflwyno y mater i sylw Cymdeithasfa Chwarterol y De, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa, wedi rhoddi ystyriaeth bwyllog i'r mater, i nodi tri o frodyr o'u mysg i gyfarfod â'u gilydd i ystyried y Rheolau y penderfyner arnynt gan y naill a'r llall, ac i gyflwyno Adroddiad i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf. Dyfynwyd o Gylchlythyr y Gymanfa Gyffredinol, THOMAS ROBERTS, *Ysgrifenydd.*—Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala, Meh. 13—16, 1882, derbyniwyd a chymeradwywyd Adroddiad Pwyllgor y Llyfrau. Yr Adroddiad hwnw, ymysg pethau eraill, a gynnwysai yr adran ganlynol:—"Hysbysodd yr archwilwyr i gyfrifon y ddwy DRYSORFA a'r *Treasury* eu bod wedi cael y cyfan yn gywir. Penderfynwyd ein bod yn llawenhâu yn yr ychwanegiad sydd wedi bod yn nghylchrediad y DRYSORFA y flwyddyn ddiweddaf, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa, ynghyd a'r Cyfarfodydd Misol, i wneuthur pob ymdrech er sicrhâu i'r cyhoeddiad hwn, ynghyd a *Thrysorfa y Plant* a'r *Treasury*, dderbyniad helaethach ymhob man, er budd ysbrydol ein cynnulleidfäoedd, ac er ein dwyn i gydnabyddiaeth helaethach a chydymdeimlad mwy llwyr â symudiadau y Cyfundeb."

III. Cyttunwyd i gadarnhâu penodiad y Parch. S. A. Frazer yn aelod o'r Pwyllgor Dirwestol. Dygwyd ar gof fod yr holl aelodau o'r Pwyllgor hwn, oddieithr y rhai a benodwyd y flwyddyn hon, i gael eu hail-ethol cyn diwedd y flwyddyn hon, ac awgrymwyd mai dymunol fyddai i Ysgrifenydd y Pwyllgor gyflwyno yr holl enwau i gael eu cadarnhâu fel rhan o'i adroddiad.

IV. Penderfynwyd cyflwyno enwau y Parch. John Howell Hughes, Mr. R. Jones, U.H., a'r Parch. R. Ll. Owen, M.A., Ph.D., i gael eu cadarnhâu gan y Gymdeithasfa fel Cyfarwyddwyr yr Athrofa.

V. Gan mai yn Nghymdeithasfa Medi y bwriedir sylwi ar y Rheolau i Dderbyn Pregethwyr, aed heibio i'r rhan o'r genadwri o Sir Fflint oedd yn dwyn perthynas â'r rhai hyn; a chan nad oedd y penderfyniad o berthynas i Gaergwrle wedi cael ei wneyd yn hysbys o'r blaen i Henaduriaeth Lancashire, oedwyd yr ymdriniaeth ar hyn hefyd hyd y Gymdeithasfa nesaf.

VI. Penderfynwyd rhoddi ystyriaeth i'r genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol yn dwyn perthynas â Rheolau unffurf i Dde a Gogledd i dderbyn pregethwyr, mewn Cymdeithasfa ddyfodol, wedi i'r brodyr yn y De gael hamdden i ystyried yr holl fater.

VII. Wedi i amryw sylwadau gael eu gwneyd ar y genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol, yn annog i ymdrech ychwanegol yn mhlaid lledaeniad y DRYSORFA, cynnygiwyd gan Dr. Hughes, eiliwyd gan Dr. Llugwy Owen, a chyttunwyd yn unfrydol, fod annogaeth yn cael ei hanfon o'r Gymdeithasfa hon i'r holl Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, ar i gyhoeddusrwydd gael ei roddi ymhob lle i'n cyhoeddiadau Cyfundebol, ac ar iddynt gael cefnogaeth fwy calonog a lledaeniad mwy helaeth yn ein plith.

VIII. Darllenwyd y genadwri ganlynol o'r Gymanfa Gyffredinol:—

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala, Mehefin 13—16, 1882, derbyniwyd cenadwri o Lundain, yn dymuno ar yr eglwysi yn y wlad i beidio derbyn personau yn aelodau eglwysig o Lundain a lleoedd eraill, heb fod tocynau aelodaeth ganddynt. Mewn atebiad i'r genadwri hon, penderfynwyd,—Ein bod yn dymuno cyflwyno i'r ddwy Gymdeithasfa, yn y Dehau a'r Gogledd, y priodoldeb o alw sylw ein Cyfarfodydd Misol, a thrwyddynt hwy swyddogion ein heglwysi yn gyffredinol, at yr anghenrheidrwydd o fod yn ofalus am gadw at y Rheol sydd genym yn ein *Cyffes Ffydd*—na byddo unrhyw aelod, pan yn symud o un eglwys i'r llall, yn cael derbyniad i aelodaeth yn yr eglwys y ceisir ymuno â hi oddieithr fod ganddo y tocyn arferol er prawf o'i aelodaeth.

Cafwyd trafodaeth faith ar gynnwys y genadwri hon, yn ystod yr hon y tystid

ar un llaw y gellid nodi ffeithiau i brofi fod sail i'r gŵyn y cyfeirid ati; ond ar y llaw arall, nad yw y swyddogion yn y wlad mor feius yn y mater ag y tybiai ein brodyr yn y trefi. Mewn rhai amgylchiadau, dichon nad yw yn hysbys i'r bobl ieuainc gan bwy y mae tocyn aelodaeth i'w gael. Mewn amgylchiadau eraill, bydd esgeulusdra mewn dilyn moddion gras a chyfranu at gynnal yr achos yn peri i rai ofni wynebu y swyddogion pan yn ymadael. Ac weithiau y mae rhai yn cymeryd mantais ar eu symudiad o un lle i'r llall i withgilio. Ymhen ychydig amser ar ol myned i'r wlad y mae rhai o'r rhai hyn yn dyfod yn ol i'r eglwysi, ac mewn amser rhesymol yn cael eu derbyn yn gyflawn aelodau, heb i'r swyddogion fod yn euog o dderbyn rhai mewn dull afreolaidd. Ond wrth edrych yn ystyriol ar yr holl fater, ofnid fod y gŵyn hon, a glywir yn lled fynych, yn dangos fod rhyw ddiffyg pwysig yn syniad llawer o'n haelodau am bwysigrwydd y cyfammod eglwysig. Gofidus yw canfod fod rhai mewn oes fer wedi ail a thrydydd gychwyn eu proffes, ac ymhell o ddangos eu bod yn meddu syniad uchel am y fraint o fod yn perthyn i Eglwys Crist. Ar gynnygiad y Parch. Robert Owen, M.A., Pennal, yn cael ei eilio gan y Parch. Joseph Thomas, penderfynwyd ein bod yn cyflwyno y genadwri uchod o'r Gymanfa Gyffredinol i sylw y Cyfarfodydd Misol, yn cael ei dilyn gan benderfyniad o'r Gymdeithasfa hon, yn gwasgu ar ein haelodau i roddi mwy o bwys yn eu meddyliau ar y cyfammod eglwysig.

IX. Darllenwyd y genadwri ganlynol o'r Gymanfa Gyffredinol:—

Dymunir cyflwyno i sylw y ddwy Gymdeithasfa y priodoldeb o gymeryd i ystyriaeth, Oni fyddai yn ddoeth, yn ngwyneb yr anhawsder a deimlir gan lawer o'n gwrandäwyr, o deimlad gwylaidd, i dori trwodd i ymddangos yn y cyfarfodydd eglwysig, ac yno i ddyweyd eu teimladau a'u hawydd i fod yn aelodau, i drefnu rhyw foddion i'r cyfryw rai i gael cyfleusdra i siarad o barth i hyn â'r swyddogion ar eu penau eu hunain?

Yn yr ymdriniaeth ar y pwnc hwn, dangoswyd y pwysigrwydd o ymdrechu dwyn gwrandäwyr yr efengyl ymlaen i fod yn aelodau. Sicrheid ein bod yn colli llawer o aelodau, yn enwedig yn y trefi, o ddiffyg tori atynt mewn dull tyner, ac o ddiffyg symud graddau o'r ofn cael eu holi yn galed yn ngwydd cynnulleidfa sydd yn meddiannu lliaws o'n gwrandäwyr gwylaidd a lledneis. Yr un pryd bernid nad oedd arnom angen am un reol newydd ar hyn ond i ni ddefnyddio y rhyddid sydd genym yn awr i ymddyddan yn bersonol â dynion dan argyhoeddiad, a chofio am y cysegredigrwydd sydd yn perthyn i brofiad crefyddol—mai colled i'r eglwys yw peidio ei glywed, ond mai nid hawdd gan aml un sydd yn meddu profiad yw ei draethu yn gyhoeddus.

X. Ymofynwyd am Gofnodau y Gymdeithasfa am y blynyddoedd a aethant heibio, a dadganwyd dymuniad am iddynt gael eu cadw mewn lle diogel. Tuag at ddwyn i weithrediad yr hyn y penderfynwyd arno yn y Gymdeithasfa yn Harlech, ynglŷn â chofnodau y Gymdeithasfa, penodwyd y personau canlynol,—Y Parch. Roger Edwards y Parch. Robert Roberts, a Mr. Edward Griffith, Dolgellau, a'r Ysgrifenydd, yn bwyllgor i ofalu am gael copi cyflawn o'r Cylchlythyrau, a chymaint ag a ellir o'r cofnodau ysgrifenedig, erbyn Cymdeithasfa Rhagfyr nesaf.

XI. Darllenwyd y llythyr canlynol a dderbyniasid o Rydychain:—

"27, Worcester Terrace, Oxford,
April 27th, 1882.

"REVEREND SIR,—

"At a meeting of the Oxford University Nonconformist Union (which was founded last year), it was resolved that the members of the Committee should communicate with the Secretaries of the various Conferences, Unions, Associations, &c., of the several Nonconformist Denominations represented on the Committee, and ask that the Nonconformist Union should, if possible, be brought under the notice of the Denomination at their quarterly or annual meeting.

"This is done with a view to making the existence of the Union known to young men of Nonconformist Denominations who may intend coming to the University, and inducing them to join this Society.

"In accordance with the resolution, I enclose a circular, in which the objects of the Union are explained.—I remain, Reverend Sir, yours faithfully,

"ROBERT PARRY.
(representing, on the Committee,
the Welsh Calvinistic Methodists)."

To the Secretary of the North Wales Quarterly Association of the Calvinistic Methodists."

Cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., eiliwyd gan Mr. John Davies, Salford, a chyttunwyd, ein bod yn galonog yn dwyn yr Undeb y cyfeirir ato yn y llythyr i sylw y Cymry, ac yn annog y gwŷr ieuainc perthynol i'n Cyfundeb i wneyd defnydd o hono yn ystod eu harosiad yn y Brifysgol yn Rhydychain.

XII. Cyflwynwyd llythyr a dderbyniasid oddiwrth Uwch Deml y Temlwyr Da i sylw y Pwyllgor Dirwestol perthynol i'r Gymdeithasfa.

XIII. Hysbyswyd fod y rhai y dadganwyd cydymdeimlad â hwy yn y Gymdeithasfa ddiweddaf yn cydnabod yn ddiolch-

gar y teimlad caredig a ddangoswyd tuag atynt.

XIV. Hysbyswyd fod y diweddar Mr. Thomas Owens, Gerddi Beuno, wedi gadael tair cymynrodd at achosion Cyfundebol, sef £100 at Drysorfa y Gweinidogion, £50 at y Genadaeth Dramor, a £50 at y Genadaeth Gartrefol; ac ar gynnygiad Mr. David Roberts, U.H., Tan'rallt, yn cael ei eilio gan Mr. Edward Griffith, U.H., Dolgellau, penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd i gyflwyno diolchgarwch y Gymdeithasfa, trwy Mr. Peter Mwyndeg Evans, Treffynnon, i gynnrychiolwyr y diweddar Mr. Owens am y cymunroddion hyn.

XV. Ar gynnygiad y Parch. John Jones, Pencaenewydd, yr hwn a eiliwyd gan y Parch. John Williams, Bangor, penderfynwyd, Fod y Gymdeithasfa hon yn dadgan cydymdeimlad â'r Parch. David Saunders yn ngwyneb y brofedigaeth o golli ei anwyl a'i unig ferch. Yr oeddid yn dysgwyl Mr. Saunders i'r Gymdeithasfa, ac y byddai yn cymeryd rhan yn ngwasanaeth yr ordeiniad, ond fe'i lluddiwyd trwy i'w dŷ gael ei droi yn dŷ galar.

XVI. Dymunwyd ar i Mr. Jacob Jones, a Mr. Edward Davies, Llandinam, archwilio cyfrifon Trysorydd y Gymdeithasfa.

XVII. Darllenwyd gan Mr. Eleazar Roberts, Liverpool, Adroddiad Pwyllgor yr Athrofa, yr hwn a welir yn nghofnodau y cyfarfod am 2 o'r gloch ddydd Iau, yn yr hwn gyfarfod y cymeradwywyd ef. Dygwyd tystiolaeth uchel i gymeriad crefyddol, i weithgarwch, ac i haelioni yr efrydwyr presennol yn Athrofa y Bala, a theimlid llawenydd o glywed y fath Adroddiad cysurus.

XVIII. Cyflwynwyd y Parch. Owen Robert Morris, Minnesota, America, i'r Gymdeithasfa, a chafwyd anerchiad dyddorol gan Mr. Morris, yn yr hwn y cyfeiriai at lafur, ffyddlondeb, a llwyddiant ein brodyr yn America. Ymysg ffeithiau eraill hysbysai fod ganddynt gyhoeddiad misol a werthfawrogid gan y Cymry yn y Taleithiau, a bod £44 o elw y cyhoeddiad hwnw, sef y *Cyfaill*, wedi eu hanfon drosodd i Drysorydd y Genadaeth Dramor y flwyddyn ddiweddaf. Cynnygiwyd gan y Parch. D. Rowlands, M.A., eiliwyd gan Mr. Eleazar Roberts, a chyttunwyd yn unfrydol :—

Ein bod yn rhoddi y derbyniad mwyaf croesawus a serchog i'n hanwyl frawd Mr. Morris, a'n bod yn hyderu y bydd yn gysurus a thra defnyddiol yn ystod ei arosiad yn ein plith, ac, ar derfyn ei ymweliad, y caiff ddychwelyd yn ddiogel dan amddiffyn a bendith y Nefoedd i'w gartref; ein bod hefyd yn llawenhâu yn fawr wrth glywed newyddion da ganddo am ein hanwyl frodyr y Methodistiaid yn America, a'u bod trwyddo yn dymuno anfon ein cofion mwyaf serchog atynt, gan ddeisyfu ar iddynt gael eu hanrhydeddu yn fwy fwy "âg ewyllys da Preswylydd y berth."

XIX. Ar gynnygiad Mr. David Roberts, Tan'rallt, yn cael ei eilio gan Mr. Thomas Lewis, Llangefni, penderfynwyd ein bod yn anfon ein cofion serchog at Mr. Roger Evans a'r Parch. Joseph Jones, Menai Bridge, yn eu llesgedd corfforol.

XX. Darllenwyd y genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol, yn dwyn cysylltiad â'r Genadaeth Dramor. (Gweler adroddiad y Gymanfa Gyffredinol.)

Cafodd y genadwri ystyriaeth bwyllog. Dywedai Mr. David Roberts, Tan'rallt, iddo weled, pan yn gweithredu fel Trysorydd am ychydig amser ar ol marwolaeth y diweddar Drysorydd, a chyn penodi y Trysorydd presennol, fod anghenrheidrwydd anhebgorol am i'r cyllid barhâu i helaethu, ac am i gasgliad effeithiol gael ei wneyd at yr achos hwn ymhob cynnulleidfa o'n heiddom. Ymofynwyd gan y Llywydd a oedd y Cyfeisteddfod Sirol y cyfeirir ato yn y genadwri hon mewn *bod* ac yn *gweithredu* yn y gwahanol Siroedd. Cafwyd mai prin yr oedd mewn bod o gwbl mewn rhai Siroedd, neu o leiaf mai llesg ydoedd ei weithrediadau mewn amryw o'r Siroedd. Teimlid mai da fyddai i'r brodyr a ystyrir yn gwneyd i fyny y Cyfeisteddfodau hyn gael ail anfoniad. Penderfynwyd rhoddi ail anfoniad iddynt, ac y bydd ymofyniad yn cael ei wneyd yn y Gymdeithasfa nesaf a yw y Cyfeisteddfod hwn mewn bod ac yn gweithredu ymhob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth.—Dymunwyd hefyd ar i Mr. Thomas Lewis gydsynio, hyd y gallo, â'r galwadau a gaiff i fyned i'r amrywiol Siroedd i draethu ar yr achos Cenadol.

XXI. Cyflwynwyd Mr. William Jenkyn Jones, y Cenadwr penodedig i lafurio yn Llydaw, i'r cyfarfod; a chafwyd cyfarchiad byr gan Mr. Jones, yn niwedd yr hwn yr appeliai yn daer am weddïau yr eglwysi drosto, ac am i Lydaw gael lle cyffelyb yn ein gweddïau i'r lle a roddir mor briodol i Cassia.

XXII. Darllenwyd llythyr o Patagonia, wedi ei arwyddo gan Lywydd ac Ysgrifenydd Cyfarfod Misol yn y wlad hono, yn cyflwyno Mr. Ellis Walter Jones, gynt o Lanrug, ond a fu am dymmor yn y Wladfa, fel un a allai roddi achos y Methodistiaid yn Patagonia o flaen y Gymdeithasfa. Penderfynwyd fod i'r Ysgrifenydd gydnabod derbyniad y llythyr, ac anfon cofion cynhes y Gymdeithasfa at ein brodyr yn y Wladfa.

XXIII. Dechreuwyd ymofyn beth oedd yn cael ei wneyd tuag at ddiogelu hen Gofnodau, yn ol annogaeth Cymdeithasfaoedd Harlech a Llanidloes; ond gan nad

oedd pawb yn deall y byddai ymofyniad yn cael ei wneyd ar hyn yn y Gymdeithasfa hon, cydolygwyd i'r ymofyniad gael ei wneyd yn Nghymdeithasfa Rhagfyr y flwyddyn hon, gan obeithio y bydd ymdrech yn cael ei wneyd yn y cyfamser i osod moddion ar droed i ddwyn y peth hwn oddiamgylch.

DYDD IAU, MEHEFIN 29AIN.

*Cyfarfod y Pregethwyr,* } *am hanner*
*Cyfeisteddfod y Blaenoriaid,* } *awr wedi* 8.

*Cyfarfod Ordeinio am* 10 *o'r gloch.*

Dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. David Roberts, Rhiw.

Darllenodd Mr. David Roberts, Tan-'rallt, enwau y brodyr i'w hordeinio yn y drefn ganlynol:—Mri. Hugh Jones, Bryndu; Ioan Davies, Barrow-in-Furness; David Richard Griffith, Rhuddlan; Robert Williams, Nantgwytheyrn; Thomas Williams, Rhydyclafdy; John Hughes, Edeyrn; John Gwynoro Davies, Llanuwchllyn; Thomas T. Lucius Morgan, Beaumaris; William Hobley, Buckley; John Owen Jones, Llanengan; Richard Edwards, Llansilin; a Morris Owen Jones, Penygarnedd. Darllenwyd y rhanau arferol o'r Ysgrythyr gan y Parch. John Jones, Ruabon. Traddodwyd araeth ar Natur Eglwys gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog. Gofynwyd y cwestiynau arferol gan y Parch. J. Hughes, D.D. Gofynwyd arwydd o gymeradwyaeth y Gymdeithasfa gan y Llywydd, y Parch. O. Thomas, D.D. Offrymwyd yr Urddweddi gan y Parch. Joseph Thomas. Traddodwyd y Cynghor gan y Parch. David Morris, Bwlan, a diweddwyd trwy weddi gan y Parch. John Ogwen Jones, B.A., Rhyl.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

I. Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Mhwllheli, ar ddyddiau Mercher, Iau, a Gwener, Awst 23, 24, a'r 25ain. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i ddechreu am 2 o'r gloch ddydd Mercher y 23ain.

II. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. S. A. Frazer yn aelod o'r Pwyllgor Dirwestol.

III. Cadarnhäwyd penodiad Robert Jones, Ysw., U.H., Pwllheli, a'r Parchn. John Howell Hughes, Ysputty, a R. Llugwy Owen, M.A., Ph.D., yn Gyfarwyddwyr Athrofa y Bala.

IV. Cadarnhäwyd yr annogaeth i ymdrech chwanegol i helaethu cylchrediad y DRYSORFA a'r cyhoeddiadau eraill perthynol i'r Cyfundeb.

V. Penderfynwyd cyflwyno y genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol o berthynas i dderbyniad rhai trwy docynau i'r eglwysi i sylw y Cyfarfodydd Misol. Ynglŷn â hyn, ar gynnygiad y Parch. Daniel Rowlands M.A., yn cael ei eilio gan y Parch. J. Hughes, D.D., cyttunwyd yn unfrydol ar yr hyn a ganlyn:—

Yn wyneb y genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol mewn perthynas i fod tocynau aelodaeth yn cael eu cyflwyno ar waith aelodau eglwysig yn ymadael o un ardal i ardal arall, penderfynwyd, ein bod yn annog, 1. Ar fod gofal yn cael ei gymeryd gan ein swyddogion ymhob eglwys i hysbysu yn eglur ac yn fynych gan bwy y mae y cyfryw docynau i'w cael, ac wedi eu rhoddi i anfon y tocyn cyferbyniol i swyddogion yr eglwys i ba un y bo aelod yn symud, ac fod y rhai yr anfonir felly atynt yn gwneyd eu goreu i beri na bo neb o'n haelodau yn myned ar goll pan yn symud o'r naill le i le arall. 2. Fod ymdrech arbenig yn cael ei gwneyd i ddysgu ein cyfeillion ymhob man am y mawredd a'r cysegredigrwydd sydd yn y cyfammod eglwysig, ac felly i feithrin yn ein holl aelodau y fath deimlad o'i ddwfn werth, a'r fath dynerwch cydwybod gyda golwg ar eu cyfrifoldeb iddo, fel y bo yn anmhosibl iddynt, pan yn ymadael o un lle i le arall, esgeuluso gwneyd defnydd o'r cyfleusdra cyntaf i fwrw eu coelbren gyda phobl yr Arglwydd, ac "ymwasgu â'r dysgyblion."

VI. Hysbysodd Mr. Jacob Jones ddarfod iddo ef a Mr. Edward Davies, Llandinam, archwilio cyfrifon Trysorydd y Gymdeithasfa a'u cael yn gywir. Wrth amlygu cymeradwyaeth o'r hysbysiad hwn, diolchwyd i'r Trysorydd, Mr. Robert Rowland, am ei wasanaeth ffyddlawn yn ystod y flwyddyn ddiweddaf.

VII. Cyflwynwyd Mr. William Jenkyn Jones, y Cenadwr i Lydaw, i'r Gymdeithasfa. Wedi cael anerchiad gan Mr. Jones yn dadgan y seiliau oedd ganddo i obeithio y byddai iddo, trwy ein gweddïau ni a chynnorthwy Ysbryd Iesu Grist, lwyddo yn y gwaith a gymerasai mewn llaw, cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., eiliwyd gan Dr. Harries Jones, a chyttunwyd: Ein bod fel Cymdeithasfa wedi gwrando gyda hyfrydwch mawr ar anerchiad Mr. Jenkyn Jones, ac yn llawenhâu ei fod yn cael ar ei feddwl fyned allan i lafurio ymhlith y Llydawiaid; ein bod o galon yn dymuno iddo gysur a llwyddiant mawr yn ei waith, ac yn ei orchymyn i Ddwyfol nodded Pen mawr yr Eglwys, gan attolygu ar iddo Ef ei fendithio a'i wneyd yn fendith i liaws mawr o'n cydgenedl yn Ffrainc.

VIII. Darllenwyd Adroddiad o weithrediadau Pwyllgor y Genadaeth Gartrefol gan yr Ysgrifenydd, y Parch. Robert Davies, Amwythig.* Cynnygiwyd gan

* Ymddengys yn ein rhifyn nesaf.

Mr. Edward Griffith, U.H., eiliwyd gan Mr. Edward Davies, Llandinam, a chyttunwyd yn unfrydol, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu gan y Gymdeithasfa.

IX. Cyflwynwyd Adroddiad Pwyllgor yr Athrofa i'r Gymdeithasfa. Cynnygiwyd gan Mr. John Davies, Salford, eiliwyd gan Mr. Thomas Williams, Dinbych, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu, â'r hyn y cyttunwyd yn unllais.

X. Darllenwyd Adroddiad o weithrediadau Pwyllgor yr Achosion Seisonig gan yr Ysgrifenydd, y Parch. Lewis Ellis, Rhuddlan.* Penderfynwyd, ar gynnygiad Mr. Richard Williams, Drefnewydd, ac eiliad y Parch. D. Jones, Gwyddelwern, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu.

XI. Hysbyswyd gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., Ysgrifenydd y Drysorfa Gynnorthwyol, nad oedd Adroddiad Blynyddol y Drysorfa hon yn barod i'w gyflwyno i'r Gymdeithasfa yn Llangefni o herwydd hwyrfrydigrwydd rhai o'r Siroedd i anfon eu ceisiadau am gynnorthwy i'r Pwyllgor, ac y bydd yr Adroddiad yn cael ei gyflwyno i Gymdeithasfa Medi.

### DYDD GWENER, MEHEFIN 30AIN.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid, am hanner awr wedi wyth y bore.*

XII. Gwnaed coffâd parchus am y diweddar Barchedig Emrys Evans, yr hwn a alwyd i orphwys oddiwrth ei lafur er y Gymdeithasfa ddiweddaf. Rhoddwyd ar yr Ysgrifenydd i amlygu cydymdeimlad y Gymdeithasfa â'i deulu galarus.

XIII. Cafwyd cyfarchiad byr gan Mr. T. Lewis, yn cynnwys ychydig o hanes ei ymweliad diweddar â maes ein Cenadaeth yn India, a thystiolaeth dra gwerthfawr a chysurus am ansawdd yr achos yn Cassia, ac am weithgarwch ein Cenadon yno. Ar gynnygiad Mr. Eleazar Roberts, Liverpool, yn cael ei eilio gan y Parch. William Williams, Tŷ Calch, penderfynwyd,—Ein bod fel Cymdeithasfa, ar ol gwrando adroddiad dyddorol Mr. Thomas Lewis am ystâd ein Cenadaeth yn Cassia, yn mawr lawenhâu o herwydd y llwyddiant mawr sydd ar deyrnas Iesu Grist ar y Bryniau hyny, ac yn dymuno cyflwyno i Mr. Lewis ein diolchgarwch diffuant am fyned i'r draul a'r drafferth i dalu yr ymweliad hwn â'r Cassiaid, ac yn mawr hyderu y bydd hyny yn creu mwy o ddyddordeb yn ein Cenadaeth ar Fryniau Cassia, ac yn ychwanegu cyfraniadau y cynnulleidfäoedd ati.

XIV. Galwyd sylw at amgylchiadau neillduol ein gwlad yn yr amseroedd presennol, a chyttunwyd ar y penderfyniad canlynol, yr hwn a gynnygiwyd gan Dr. Hughes, ac a eiliwyd gan y Parch. Robert Hughes, Gaerwen: "Ein bod fel Cymdeithasfa yn dymuno annog ein cyfeillion yn y gwahanol eglwysi i ymostwng ger bron y Goruchaf y dyddiau hyn, gan ei gydnabod yn addolgar fel Duw rhaglunniaeth. Y mae yn dra addas i ni wneyd hyny, gan ofyn iddo yn raslawn roddi i ni 'ddefodol wythnosau cynhauaf' y flwyddyn hon eto; ac mewn amser o bryder a pherygl, yn gartrefol a thramor, mewn ystyr wladwriaethol, fe weddai i ni erfyn arno Ef, yr hwn sydd yn llywodraethu y byd, ddarostwng drwg-amcanion dynion terfysglyd, a rhoddi i lywodraethwyr ein gwlad ddoethineb a nerth i wneuthur yr hyn a fyddo da yn ei olwg Ef, a'r hyn hefyd a fyno Efe ei fendithio."

Penderfynwyd fod i'r amrywiol Gyfarfodydd Misol neillduo diwrnod, neu ran o ddau ddiwrnod, yn ol amgylchiadau yr ardaloedd, i nesâu at Dduw yn yr achos hwn, yn gystal a rhoi lle amlwg i'r mater yma yn y cyfarfodydd gweddïau arferol, ac yn y gweddïau yn nechreu yr oedfaon cyhoeddus.

XV. Rhoddwyd adroddiad cynnwysfawr o ansawdd yr achos crefyddol yn Môn gan Mr. William Thomas, Ucheldrefgoed. Am fod yr amser wedi myned cyn i'r Parch. Robert Hughes, Gaerwen, allu rhoddi adroddiad am ansawdd ysbrydol yr achos, dymunwyd ar i Mr. Hughes anfon ei adroddiad i'w gyhoeddi yn y DRYSORFA.

Ni chaed amser i ymdrin â'r pwnc o Offeiriadaeth Crist, a bu raid gohirio yr ymdriniaeth arno hyd y Gymdeithasfa nesaf.

WILLIAM WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

### TREFN Y MODDION CYHOEDDUS.

Nos Fercher, Mehefin 23ain, pregethodd y Parchn. W. Jones, Trawsfynydd, a J. Prichard, Birmingham.

Dydd Iau, am 2 o'r gloch, yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. O. Hughes, Tregynon, a H. Barrow Williams, Gwrecsam.

Am 5 o'r gloch y prydnawn ar y maes, y Parchn. J. Ogwen Jones, B.A., a Dr. Hughes.

Dydd Gwener, am 6 y bore, yn y capel, y Parch. D. Jones, Gwyddelwern, a W. Williams, Birmingham.

Ar y maes, am 10, y Parchn Dr. Harries Jones, a Dr. O. Thomas; am 2, y Parchn. D. Williams, Liverpool, a Joseph Thomas; ac am 6, y Parchn. T. J. Wheldon, B.A., a Dr. Thomas.

* Gorfuwyd gadael allan yr adroddiad hwn fel y rhai eraill, o'n rhifyn presennol; ond bydd llawer yn y cyfamser yn eu cael yn Nghylchlythyr y Gymdeithasfa a anfonir i bob Cyfarfod Misol.

## ARHOLIAD ATHROFA Y BALA.

### *Yr Arholiad Clasurol.*

**English Essay.** Maximum 100.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Robert Williams, Carnarvon | 75 |
| 2 | John Williams; G. F. Jones | 60 |
| 3 | J. O. Jones; Joseph Davies | 55 |
| 4 | O. E. Williams; R. Roberts; Hugh Ellis; Robert Jones; B. O. Hughes | 50 |
| 5 | R. W. Hughes | 45 |
| 6 | S. T. Jones | 40 |
| 7 | Hugh Roberts; Robert Jones, Llanuwchllyn; T. E Roberts, Corwen; David Hughes | 35 |
| 8 | I. J. Williams; R. J. Williams; J. R Evans; R Rowlands; J. Roberts, Bangor; E. Hughes; D. Manuel; T. M. Jones; R. Williams, Denbigh; D. Edwards; J. Roberts, Llanbedr; J. Evans, Moel y garnedd; T. C. Jones; O. Ll. Owen | 30 |
| 9 | J Davies; J. C Jones; H. R Davies; J. R Jones; D. Hoskins; W. P Williams; J. Roberts; J. Owen; R. Davies; E. V. Humphreys; J. Thomas; O. Mathias; R. Williams, Prenteg; Dan. E. Jones; J. Edwards Llanrhaiadr | 25 |
| 10 | Rd. Thomas; Wm. Lloyd; Ed. Joseph; W. O. Jones | 20 |

### *Y Flwyddyn Gyntaf.*

**English.** *Cowper's Timepiece and Winter Morning Walk.* Maximum 80.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | H. O Hughes | 66 |
| 2 | David Hughes | 62 |
| 3 | D. Edwards; R. Williams, Denbigh | 60 |
| 4 | W O Jones; Thos. Charles Jones | 57 |
| 5 | Robert Jones | 55 |
| 6 | Richard Thomas | 53 |
| 7 | John Edwards, Llanrhaiadr | 51 |
| 8 | John Roberts, Llanbedr | 49 |
| 9 | D. Manuel, Llanidloes; Daniel Evans Jones | 46 |
| 10 | W Lloyd; John Evans, Moelygarnedd | 41 |
| 11 | Robert Williams, Prenteg | 38 |
| 12 | O. Lloyd Owen | 31 |
| 13 | Edward Joseph | 27 |
| 14 | T. Morris Jones | 20 |

**English** *Goldsmith's Traveller and Deserted Village and Morris's English Accidence.* Max. 120.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | D. Manuel, Llanidloes; David Hughes | 110 |
| 2 | Robert Jones; Thos. Charles Jones | 94 |
| 3 | H. O. Hughes; R. Williams, Denbigh | 88 |
| 4 | W. O. Jones | 81 |
| 5 | John Evans, Moelygarnedd; John Edwards Llanrhaiadr; R. Thomas | 79 |
| 6 | David Edwards | 74 |
| 7 | O. Ll. Owen; T. M. Jones, Carnarvon | 71 |
| 8 | John Roberts, Llanbedr | 60 |
| 9 | Robert Williams, Prenteg | 56 |
| 10 | W. Lloyd, East Merioneth | 58 |
| 11 | Edward Joseph | 37 |
| 12 | Daniel Evans Jones | 32 |

**English History.** Maximum 80.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | Robert Jones | 60 |
| 2 | T. Charles Jones | 59 |
| 3 | H. O. Hughes | 56 |
| 4 | D. Manuel | 52 |
| 5 | D. Hughes | 51 |
| 6 | R. Thomas | 49 |
| 7 | W. O. Jones | 45 |
| 8 | W. Lloyd | 44 |
| 9 | R. Williams, Denbigh | 36 |
| 10 | John Edwards, Llanrhaiadr | 34 |
| 11 | J. Evans, Moelygarnedd | 33 |
| 12 | O. Ll. Owen | 31 |
| 13 | T. M Jones | 29 |
| 14 | David Edwards | 28 |
| 15 | Robert Williams, Prenteg | 25 |
| 16 | J. Roberts, Llanbedr | 23 |
| 17 | Edward Joseph | 22 |
| 18 | Daniel E. Jones | 20 |

**Traethawd Seisonig.** Gwel y Rhestr Gyffredinol.

**Latin Grammar and Authors.** Maximum 180.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes; Robt. Jones | 161 |
| 2 | David Hughes | 157 |
| 3 | J Edwards; T. C. Jones | 154 |
| 4 | David Edwards | 146 |
| 5 | W. O. Jones; R. Williams, Denbigh | 139 |
| 6 | J. Evans, Moelygarnedd | 134 |
| 7 | J. Roberts, Llanbedr | 128 |
| 8 | David Manuel | 126 |
| 9 | Wm. Lloyd; R Williams, Prenteg | 114 |
| 10 | O. Ll. Owen | 111 |
| 11 | T. M. Jones; R. Thomas | 103 |
| 12 | Edward Joseph | 75 |

**Greek Grammar and Xenophon.** Max. 180.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | T. Charles Jones, Bangor | 173 |
| 2 | H. O. Hughes | 167 |
| 3 | J. Edwards, Llanrhaiadr | 161 |
| 4 | John Evans, Moelygarnedd; Robert Jones | 155 |
| 5 | D. Edwards; D. Manuel | 153 |
| 6 | David Hughes; W. O. Jones | 141 |
| 7 | R Williams, Denbigh | 140 |
| 8 | J. Roberts, Llanbedr | 122 |
| 9 | O. Ll. Owen | 121 |
| 10 | Robert Williams, Prenteg | 119 |
| 11 | William Lloyd | 97 |
| 12 | Richard Thomas | 85 |
| 13 | D. Evans Jones | 67 |
| 14 | T M Jones | 64 |
| 15 | Edward Joseph | 52 |

**Algebra.** Maximum 130.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 126 |
| 2 | David Hughes | 122 |
| 3 | J Edwards, Llanrhaiadr | 107 |
| 4 | T. C. Jones | 100 |
| 5 | Robert Jones | 98 |
| 6 | David Edwards | 91 |
| 7 | J. Evans, Moelygarnedd | 82 |
| 8 | R. Williams, Prenteg; David Manuel | 78 |
| 9 | R Thomas; R. Williams, Denbigh | 75 |
| 10 | W. Lloyd, Merion. | 70 |
| 11 | Edw. Joseph; O. Ll. Owen | 65 |
| 12 | W. O. Jones | 62 |
| 13 | D. E. Jones; T. M. Jones, Carnarvon | 45 |
| 14 | J. Roberts, Llanbedr | 41 |

**Geometry.** Maximum 130.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | D. Hughes | 127 |
| 2 | H. O. Hughes | 124 |
| 3 | J. J Owen; W. O Jones | 122 |
| 4 | David Manuel | 121 |
| 5 | Robert Jones | 119 |
| 6 | W. Lloyd; R. Williams, Prenteg; R. Thomas; R. Williams, Denbigh | 116 |
| 7 | T. C Jones | 113 |
| 8 | J. Roberts, Llanbedr | 109 |
| 9 | David Edwards | 108 |
| 10 | J Edwards | 104 |
| 11 | D. Evans Jones | 103 |
| 12 | John Evans; O. Ll. Owen | 98 |
| 13 | Edward Joseph | 96 |
| 14 | J. Evans, Pennal | 28 |
| 15 | Thos. M. Jones | 90 |
| 16 | William Williams | 72 |

Yn yr oll gyda'u gilydd safant fel y canlyn:—

**Maximum 1000.**

| | | |
|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 838 |
| 2 | D. Hughes | 805 |
| 3 | Robert Jones | 787 |
| 4 | T. C. Jones | 780 |
| 5 | David Manuel | 716 |
| 6 | John Edwards | 715 |
| 7 | David Edwards | 690 |
| 8 | Robert Williams, Denbigh | 684 |
| 9 | W. O. Jones | 667 |
| 10 | John Evans | 652 |
| 11 | Richard Thomas | 580 |
| 12 | Robert Williams, Prenteg | 571 |
| 13 | J. Roberts, Llanbedr | 562 |
| 14 | O. Ll. Owen | 558 |
| 15 | William Lloyd | 555 |
| 16 | Thos. M Jones | 452 |
| 17 | Daniel E. Jones | 428 |
| 18 | Edward Joseph | 394 |
| 19 | J. J. Owen* | 122 |
| 20 | J. Evans, Pennal* | 98 |
| 21 | William Williams | 72 |

* Attaliwyd gan waeledd.

## *Yr Ail Flwyddyn.*

**English** *Cowper's Timepiece and Winter Morning Walk.* Maximum 100.

1 John O Jones ..98
2 R. W. Hughes ..87
3 John Roberts, E. V. Humphreys .. .. 78
4 Hugh Ellis .., Edw. Hughes.., O. Mathias .. 76
5 Robert Williams Carvarvon .., John Owen, Anglesey .. .. 73
6 R. Davies .. ..64
7 John Thomas ..62
8 W Ph. Williams, David Hoskins 60

**English Author.** *Goldsmith, &c.* Max. 140.

1 Edward Hughes 136
2 Jn. Owen Jones 132
3 John Owen ..125
4 R W. Hughes, Hugh Ellis .. 120
5 O. Mathias ..117
6 E. V. Humphreys 116
7 John Roberts .. 113
8 John Thomas .. 111
9 Robert Williams 107
10 W Ph. Williams 100
11 David Hoskins 96
12 Robert Davies 89

**English History.** Maximum 80.

1 John Roberts ..59
2 Robert Williams, Carnarvon ..56
3 R. W. Hughes, E. V. Humphreys .. .. 50
4 Hugh Ellis .., O. Mathias .., R. Davies .. 47
5 John O. Jones .. 44
6 W. Ph. Williams.. 43
7 David Hoskins .. 41
8 Edward Hughes.. 40
9 John Owen .. .. 36

**Traethawd Seisonig.** Gwel y Rhestr Gyffredinol.

**Latin Grammar and Composition.** Max. 100.

1 John O. Jones ..99
2 Robt. Williams, Hugh Ellis .. 98
3 R. W. Hughes ..94
4 John Owen .. ..92
5 J. Roberts .. ..91
6 W.Ph. Williams, David Hoskins 87
7 E. V. Humphreys..86
8 O. Mathias .. ..82
9 E. Hughes .. ..79
10 R Davies .. ..73

**Latin Author.** *Cicero's Letters.* Max 120.

1 J. O. Jones ..112
2 R. W. Hughes ..108
3 D Hoskins .. ..107
4 H. Ellis .. ..104
5 E Hughes .. ..100
6 J. Roberts, O. Mathias.. 96
7 W. Ph. Williams..94
8 J. Owen, Anglesey .., E. V. Humphreys .. 93
9 R. Williams ..86
10 R. Davies .. ..79

**Greek Grammar and Composition.** Max. 100.

1 Hugh Ellis .. ..95
2 J. O. Jones .. ..94
3 Edw. Hughes, R. W. Hughes 92
4 John Roberts.. ..81
5 Robt. Williams, Carnarvon .. ..78
6 John Owen .. ..77
7 W Ph. Williams..75
8 David Hoskins ..70
9 R. Davies .. ..69
10 Owen Mathias ..68
11 John Thomas ..64
12 E. V. Humphreys 59

**Xenophon and Homer.** Maximum 120.

1 J. O. Jones .. ..108
2 Robt. Williams, R. W. Hughes 98
3 Hugh Ellis .. ..94
4 John Owen .. ..86
5 W. Ph. Williams, E. V. Humphreys .., Edw. Hughes 83
6 David Hoskins ..79
7 Robert Davies ..77
8 John Roberts ..70
9 John Thomas ..50
10 O. Mathias .. ..48

**Algebra.** Maximum 160.

1 John O. Jones ..160
2 Hugh Ellis .. ..145
3 R. Williams, Carnarvon .. 131
4 E V. Humphreys..115
5 R. Davies .. ..112
6 David Hoskins ..102
7 R. W. Hughes ..91
8 W. Ph Williams..82
9 O. Mathias .. ..78
10 John Owen, Anglesey .., Edw. Hughes 73

**Geometry and Trigonometry.** Maximum 160.

1 J. O. Jones .. ..154
2 R. W. Hughes ..144
3 Edw. Hughes, Hugh Ellis 141
4 Dav. Hoskins, R. Williams, O. Mathias 138
5 W. Ph. Williams..136
6 E. V. Humphreys .., J. Owen .. 125
7 Robert Davies .. 82
8 J. Roberts .. .. 71

Yn yr oll o'r materion uchod gyda'u gilydd safant fel y canlyn:—

Maximum 1180.

1 John O. Jones ..1056
2 Hugh Ellis .. .. 970
3 Robert Williams, Carnarvon .. 940
4 R W. Hughes .. 929
5 Edward Hughes 850
6 E. V. Humphreys..830
7 Dav. Hoskins, John Owen 805
8 W. Ph. Williams 785
9 O. Mathias .. 775
10 Robert Davies.. 716
11 John Roberts .. 684
12 John Thomas*.. 312

* Dylid hysbysu nad oedd efe yn alluog i gymeryd yr holl faterion oblegid gwendid ei lygaid.

## *Y Drydedd Flwyddyn.*

**English.** *Milton's Paradise Lost.* Max. 300.

1 Robert Jones ..262
2 J. R. Jones.. ..208
3 H. R. Davies ..202
4 G F. Jones .., John Roberts, Bangor.. .. 182
5 R. Roberts.. ..179
6 Rich. Rowlands 126

**Traethawd Seisonig.** Gwel y Rhestr Gyffredinol.

**Latin Grammar and Composition.** Max. 100.

1 Robert Jones ..100
2 R. Rowlands .. 88
3 J. R. Jones .. .. 86
4 John Roberts .. 81
5 R. Roberts .. ..79
6 H. R. Davies ..75
7 G. F. Jones .. ..66

**Latin Author.** *Cicero's Letters.* Maximum 120.

1 J. R Jones .. ..112
2 R. Jones .. ..110
3 H R Davies, J Roberts .. 96
4 R. Roberts .. ..85
5 G. F. Jones .. ..80
6 Richard Rowlands 72

**Greek Grammar and Prose Composition.** Maximum 100.

1 Robert Jones, Llanuwchllyn .. ..95
2 Richard Rowlands 92
3 J. Roberts, Bangor 80
4 J R. Jones .. ..73
5 H. R. Davies ..69
6 Robert Roberts ..65
7 G. F. Jones .. ..37

**Xenophon and Homer.** Maximum 120.

1 Robert Jones ..106
2 J. R. Jones .. .. 96
3 H. Rees Davies .. 93
4 John Roberts .. 92
5 Richard Rowlands 77
6 Robert Roberts ..71
7 G. F. Jones .. ..46

**Algebra.** Maximum 160.

1 Robert Jones ..150
2 H. R. Davies ..130
3 J. R. Jones .. ..120
4 Richard Rowlands 116
5 G. F. Jones .. ..86
6 J. Roberts, Bangor 51
7 Robert Roberts ..41

**Geometry and Trigonometry.** Max. 160.

1 Robert Jones ..128
2 J. R Jones .. ..127
3 John Roberts ..123
4 Robert Roberts ..120
5 Rich. Rowlands 106
6 H. R. Davies .. 92
7 G. F. Jones .. 79

**Philosophy.** *Hamilton.* Max. 100.

1 Robert Jones, Llanuwchllyn .. ..93
2 J. R. Jones .. ..89
3 J. Roberts, Bangor 85
4 G. F. Jones .., R. Roberts .. 83
5 H. R. Davies ..76
6 Richard Rowlands 66

Yn yr oll o'r materion uchod gyda'u gilydd safant fel y canlyn:—

Maximum 1260.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Robert Jones | ..1079 | 4 | Henry R. Davies | 858 |
| 2 | John Roberts, Bangor | ..1029 | 5 | { Rt. Roberts / R. Rowlands } | 773 |
| 3 | J. R. Jones.. | .. 936 | 6 | G. F. Jones.. | ..719 |

## *Y Bedwaredd Flwyddyn.*

English. *Milton's Paradise Lost.* Max. 300.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Williams | ..293 | 7 | J. C. Jones.. | ..210 |
| 2 | O. E. Williams | ..254 | 8 | S. T. Jones.. | ..192 |
| 3 | John Davies.. | ..248 | 9 | Hugh Roberts | ..188 |
| 4 | J. R. Evans.. | ..226 | 10 | T. E. Roberts | ..171 |
| 5 | I. Jones Williams | 223 | 11 | Joseph Davies | ..170 |
| 6 | R. J. Williams | ..211 | | | |

Traethawd Seisonig. Gwel y Rhestr Gyffredinol.

Latin Grammar and Prose. Maximum 120.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Williams | ..109 | 6 | I. Jones Williams | 90 |
| 2 | John Davies.. | ..102 | 7 | S. T. Jones .. | ..88 |
| 3 | O. E. Williams | ..101 | 8 | Hugh Roberts | ..75 |
| 4 | R. J. Williams | ..100 | 9 | Joseph Davies | ..69 |
| 5 | T. E. Roberts | .. 94 | 10 | J. C. Jones .. | ..67 |

Horace and Tacitus. Maximum 160.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. Williams .. | ..145 | 7 | Joseph Davies | ..98 |
| 2 | O. E. Williams | ..135 | 8 | Hugh Roberts | ..95 |
| 3 | John Davies.. | ..124 | 9 | { S. T. Jones .. / J. R. Evans .. / I. J. Williams } | 91 |
| 4 | R. J. Williams | ..119 | | | |
| 5 | T. E. Roberts | ..109 | | | |
| 6 | J. C. Jones .. | ..100 | | | |

Greek Prose. Maximum 100.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Davies .. | ..86 | 5 | Joseph Davies | ..60 |
| 2 | John Williams | ..80 | 6 | R. J. Williams | ..57 |
| 3 | { O. E. Williams / S. T. Jones .. } | 75 | 7 | { T. E. Roberts / I. J. Williams } | 51 |
| 4 | Hugh Roberts | . 70 | 8 | J. C. Jones .. | ..46 |

Homer and Thucydides. Maximum 100.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Williams | ..86 | 6 | { I. J. Williams / Joseph Davies } | 72 |
| 2 | O E. Williams | ..84 | 7 | Thos. E. Roberts | 69 |
| 3 | John Davies.. | ..80 | 8 | J. C. Jones .. | ..67 |
| 4 | R. J. Williams | ..76 | 9 | Hugh Roberts | ..61 |
| 5 | S. T. Jones .. | ..75 | 10 | John R. Evans | ..59 |

Plato. Maximum 100.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | { O. E. Williams / John Williams } | 90 | 5 | { Hugh Roberts / Joseph Davies } | 64 |
| 2 | John Davies .. | ..80 | 6 | { S T. Jones .. / I. J. Williams } | 61 |
| 3 | R. J. Williams | ..77 | | | |
| 4 | J. C. Jones .. | ..71 | 7 | T. E. Roberts | ..56 |

Algebra. Maximum 170.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | O. E. Williams | ..170 | 5 | J. C. Jones.. | ..156 |
| 2 | John Davies | ..167 | 6 | R. J. Williams | ..147 |
| 3 | Thos. E. Roberts | 165 | 7 | Hugh Roberts | ..112 |
| 4 | { John Williams / S. T. Jones .. } | 163 | 8 | Joseph Davies | ..100 |
| | | | 9 | I. J. Williams | .. 80 |

Mechanics and Geometry. Maximum 170.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. Williams .. | ..164 | 6 | J. C. Jones.. | ..121 |
| 2 | { John Davies.. / R. W. Hughes* } | 161 | 7 | J. R. Evans | ..116 |
| | | | 8 | T. E. Roberts | ..111 |
| 3 | O. E. Williams | ..152 | 9 | I. Jones Williams | 102 |
| 4 | S. T. Jones .. | ..145 | 10 | Joseph Davies | .. 95 |
| 5 | R. J. Williams | ..138 | 11 | Hugh Roberts † | .. 43 |

* O herwydd profedigaeth deuluaidd bu raid iddo aros gartref ar ol y Nadolig.

† *Mechanics* yn unig.

Yn yr oll o'r materion uchod gyda'u gilydd safant fel y canlyn:—

Maximum 1320.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Williams | ..1190 | 7 | T. E. Roberts | ..861 |
| 2 | O. E. Williams | ..1111 | 8 | I. J. Williams | ..800 |
| 3 | John Davies | ..1073 | 9 | Joseph Davies | ..783 |
| 4 | R. J. Williams | .. 955 | 10 | Hugh Roberts | ..743 |
| 5 | S. T. Jones.. | .. 930 | 11 | J. R. Evans | ..522 |
| 6 | J. C. Jones.. | .. 863 | | | |

## *Yr Arholiad Duwinyddol.*

Neander's History of Christian Dogmas, and Justification by Faith. Maximum 200

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1 | J Williams | 4edd flwyddyn | 200 |
| 2 | H. O. Hughes | 1af " | 184 |
| | O E Williams | 4edd " | |
| 4 | R Jones, Llanuwchllyn | 3edd " | 180 |
| 5 | E V. Humphreys | 2il " | 174 |
| | John O Jones | 2il " | |
| | D Manuel | 1af " | |
| | W. J. Williams | 4edd " | |
| 9 | S. T Jones | 4edd " | 166 |
| 10 | David Hoskins | 2il " | 162 |
| | David Hughes | 1af " | |
| | J. C Jones | 4edd " | |
| | W. O. Jones | 1af " | |
| | Hugh Roberts | 4edd " | |
| | T. E. Roberts | 4edd " | |
| | Robert Williams, Arfon | 2il " | |
| 17 | Hugh Ellis | 2il " | 156 |
| | John R. Evans | 4edd " | |
| | R W. Hughes | 2il " | |
| | John R Jones | 3edd " | |
| | R. Roberts | 3edd " | |
| 22 | H. R. Davies | 3edd " | 146 |
| | David Edwards | 1af " | |
| 24 | Joseph Davies | 4edd " | 140 |
| | O. Mathias | 2il " | |
| | John Roberts, Llanbedr | 1af " | |
| | R. Rowland | 3edd " | |
| 28 | J. Edwards, Llanrhaiadr | 1af " | 134 |
| | Edward Hughes | 2il " | |
| | R. Jones | 1af " | |
| | John Owen | 2il " | |
| | Owen Lloyd Owen | 1af " | |
| | John Thomas | 2il " | |
| | I Jones Williams | 4edd " | |
| | W. P Williams | 2il " | |
| 36 | G F Jones | 3edd " | 124 |
| | T C Jones | 1af " | |
| | Richard Thomas | 1af " | |
| | R Williams, Denbigh | 1af " | |
| 40 | John Davies | 4edd " | 118 |
| | W. Lloyd, East Merion | 1af " | |
| | John Roberts | 2il " | |
| 43 | R Davies | 2il " | 110 |
| 44 | E Stephens | 2il " | 102 |
| 45 | Thos. Morris Jones | 1af " | 94 |
| | William Williams | 1af " | |
| 47 | John Roberts, Bangor | 3edd " | 72 |
| | Robt Williams, Penteg | 1af " | |
| 49 | D. Evans Jones | 1af " | 58 |
| 50 | Edward Joseph | 1af " | 52 |
| 51 | J Evans, Moelygarnedd | 1af " | 32 |

Epistle to the Ephesians. Maximum 200.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1 | J. Williams | 4edd flwyddyn | 200 |
| 2 | R. Jones, Llanuwchllyn | 3edd " | 190 |
| | T. E. Roberts | 4edd " | |
| | O. E. Williams | 4edd " | |
| 5 | J. C. Jones | 4edd " | 180 |
| | John O. Jones | 2il " | |
| | S. T. Jones | 4edd " | |
| | Hugh Roberts | 4edd " | |
| | I. Jones Williams | 4edd " | |
| 10 | H. R. Davies | 3edd " | 168 |
| | David Hoskins | 2il " | |
| | R. Jones | 1af " | |
| | Robert Williams, Arfon | 2il " | |

| | | | |
|---|---|---|---|
| 14 | Hugh Ellis | 2il flwyddyn | 162 |
| | H. O. Hughes | 1af " | |
| | G. F. Jones | 3edd " | |
| | W. O. Jones | 1af " | |
| | O. Mathias | 2il " | |
| 19 | John R. Evans | 4edd " | 156 |
| 20 | E. V. Humphreys | 2il " | 152 |
| 21 | Edward Hughes | 2il " | 148 |
| | John Owen | 2il " | |
| | R. Roberts | 3edd " | |
| 24 | R. Davies | 2il " | 142 |
| | R. J. Williams | 4edd " | |
| 26 | R. W. Hughes | 2il " | 138 |
| | John Roberts, Bangor | 3edd " | |
| 28 | D. Manuel | 1af " | 132 |
| | R Rowlands | 3edd " | |
| 30 | T. C. Jones | 1af " | 126 |
| 31 | Thomas Morris Jones | 1af " | 122 |
| | E. Stephens | 2il " | |
| 33 | John Davies | 4edd " | 116 |
| | Joseph Davies | 4edd " | |
| | John Roberts | 2il " | |
| 36 | David Edwards | 1af " | 112 |
| | John Thomas | 2il " | |
| | R. Williams, Denbigh | 1af " | |
| 39 | Richard Thomas | 1af " | 106 |
| | John Roberts | 1af " | |
| 41 | David Hughes | 1af " | 102 |
| | W. Lloyd, East Merion. | 1af " | |
| | W. Ph. Williams | 2il " | |
| 44 | J. Edwards, Llanrhaiadr | 1af " | 90 |
| | Owen Lloyd Owen | 1af " | |
| | William Williams | 1af " | |
| 47 | John R. Jones | 3edd " | 84 |
| | Robert Williams, Prenteg | 1af " | |
| 49 | John Evans, Moelgarnedd | 1af " | 76 |
| | Edward Joseph | 1af " | |
| 51 | Daniel Evans Jones | 1af " | 22 |

Yn y ddau gyda'u gilydd safant fel y canlyn:—

Maximum 400.

| | | | |
|---|---|---|---|
| 1 | J. Williams | 4edd flwyddyn | 400 |
| 2 | O. E. Williams | 4edd " | 374 |
| 3 | R. Jones, Llanuwchllyn | 3edd " | 370 |
| 4 | John O. Jones | 2il " | 354 |
| 5 | T. E. Roberts | 4edd " | 352 |
| 6 | H. O. Hughes | 1af " | 346 |
| | S. T. Jones | 4edd " | |
| 8 | J. C. Jones | 4edd " | 342 |
| | Hugh Roberts | 4edd " | |
| 10 | David Hoskins | 2il " | 330 |
| | Robert Williams, Arfon | 2il " | |
| 12 | E. V. Humphreys | 2il " | 326 |
| 13 | W. O. Jones | 1af " | 324 |
| 14 | Hugh Ellis | 2il " | 318 |
| 15 | R. J. Williams | 4edd " | 316 |
| 16 | H. R. Davies | 3edd " | 314 |
| | I. Jones Williams | 4edd " | |
| 18 | John R. Evans | 4edd " | 312 |
| 19 | D. Manuel | 1af " | 306 |
| 20 | R. Roberts | 3edd " | 304 |
| 21 | R. Jones | 1af " | 302 |
| | O. Mathias | 2il " | |
| 23 | R. W. Hughes | 2il " | 294 |
| 24 | G. F. Jones | 3edd " | 286 |
| 25 | Edward Hughes | 2il " | 282 |
| | John Owen | 2il " | |
| 27 | R. Rowland | 3edd " | 272 |
| 28 | David Hughes | 1af " | 264 |
| 29 | David Edwards | 1af " | 258 |
| 30 | Joseph Davies | 4edd " | 256 |
| 31 | R. Davies | 2il " | 252 |
| 32 | T. C. Jones | 1af " | 250 |
| 33 | John Thomas | 2il " | 246 |
| | John Roberts | 1af " | |
| 35 | John R. Jones | 3edd " | 240 |
| 36 | R. Williams, Dinbych | 1af " | 236 |
| | W Ph. Williams | 2il " | |
| 38 | John Davies | 4edd " | 234 |
| | John Roberts | 2il " | |
| 40 | Richard Thomas | 1af " | 230 |
| 41 | John Edwards | 1af flwyddyn | 224 |
| | Owen Lloyd Owen | 1af " | |
| | E. Stephens | 2il " | |
| 44 | W. Lloyd, East Merion. | 1af " | 220 |
| 45 | Thomas Morris Jones | 1af " | 216 |
| 46 | John Roberts, Bangor | 3edd " | 210 |
| 47 | William Williams | 1af " | 184 |
| 48 | Robert Williams, Prenteg | 1af " | 156 |
| 49 | Edward Joseph | 1af " | 128 |
| 50 | J. Evans, Moelgarnedd | 1af " | 108 |
| 51 | D. Evans Jones | 1af " | 80 |

Wedi rhoddi yr Arholiad Duwinyddol a'r Arholiad Clasurol gyda'u gilydd, ac wedi tynu marciau oblegid absennoldeb o'r dosbarthiadau yn ystod y tymmor, safant yn y drefn hon:—

Y Flwyddyn Gyntaf. Maximum 1400.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 1184 | 12 | O. Lloyd Owen | 779 |
| 2 | Robert Jones | 1089 | 13 | William Lloyd | 765 |
| 3 | David Hughes | 1064 | 14 | John Evans, Moelygarnedd | 760 |
| 4 | T. C. Jones | 1030 | 15 | Robert Williams Prenteg | 711 |
| 5 | David Manuel | 1014 | 16 | Thos. M. Jones | 663 |
| 6 | W. O. Jones | 970 | 17 | Edward Joseph | 521 |
| 7 | David Edwards | 937 | 18 | Daniel E. Jones | 503 |
| 8 | John Edwards | 927 | 19 | Wm. Williams | 248 |
| 9 | Robert Williams, Denbigh | 904 | 20 | *J. J. Owen | 122 |
| 10 | Rich. Thomas | 806 | 21 | *John Evans, Pennal | 93 |
| 11 | John Roberts, Llanbedr | 799 | | | |

* Nid oeddynt yn gallu cymeryd ond un peth oblegid gwaeledd.

Yr Ail Flwyddyn. Maximum 1580.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John O. Jones | 1407 | 7 | Edw. Hughes | 1126 |
| 2 | Hugh Ellis | 1288 | 8 | John Owen | 1087 |
| 3 | Robt. Williams Carnarvon | 1256 | 9 | O. Mathias | 1075 |
| 4 | R. W. Hughes | 1210 | 10 | W. Ph. Williams | 1015 |
| 5 | E. V. Humphreys | 1151 | 11 | Robert Davies | 961 |
| 6 | David Hoskins | 1133 | 12 | John Roberts | 904 |
| | | | 13 | John Thomas | 558 |

* Attaliwyd gan waeledd.

Y Drydedd Flwyddyn. Maximum 1660.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Robert Jones | 1449 | 5 | Rich. Rowlands | 1036 |
| 2 | J. R. Jones | 1176 | 6 | John Roberts, Bangor | 1029 |
| 3 | Henry R. Davies | 1172 | 7 | G. F. Jones | 990 |
| 4 | Robert Roberts | 1077 | | | |

Y Bedwaredd Flwyddyn. Maximum 1720.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Williams, Llanbrynmair | 1590 | 7 | J. C. Jones | 1179 |
| 2 | O. E. Williams | 1484 | 8 | Isaac J. Williams | 1108 |
| 3 | John Davies | 1298 | 9 | H. Roberts | 1079 |
| 4 | S. T. Jones | 1272 | 10 | Jos. Davies | 1005 |
| 5 | R. J. Williams | 1261 | 11 | J. R. Evans | 752 |
| 6 | T. E. Roberts | 1212 | | | |

Yn y cyfarfod ar ddiwedd y tymmor, yr hwn a gynnaliwyd Mehefin 1af, dan lywyddiaeth D. Roberts, Ysw., Liverpool, rhoddwyd £10 yr un i'r saith cyntaf yn y Drydedd a'r Bedwaredd Flwyddyn, a £7 yr un i'r saith cyntaf yn y Flwyddyn Gyntaf a'r Ail.

Heblaw hyny rhoddwyd y gwobrwyon canlynol. Y Bedwaredd Flwyddyn—John Williams, Llanbrynmair, Wright's scholarship £50; O. E. Williams, Dolgelley, £14 (£10 gan Dr. Edwards a £4 gan y Pwyllgor); John Davies, Nantyr, £10 (gan Ymddiriedolwyr Thomas Jones); Samuel T. Jones, Edeyrn, £5.

Y Drydedd Flwyddyn—Robert Jones,

Llannwchllyn, Roberts' scholarship, £20; J. R. Jones, Caernarfon, £5; H. R. Davies, Bangor, £5 (gan ymddiriedolwyr Thomas Jones).

Ail Flwyddyn—J. Owen Jones, Bethesda, £7; Hugh Ellis, Bethesda, £4; Robert Williams, Caernarfon, £3.

Y Flwyddyn Gyntaf -Hugh O. Hughes, Cefnywaen, £5; Robert Jones, Gyffylliog, £4; David Hughes, Llandrillo, £3.

Yr oedd yr holl arian a roddwyd felly yn cyrhaedd yn agos i bedwar cant o bunnoedd.

Cynnaliwyd rhan o'r Arholiad hwn yn niwedd y flwyddyn ddiweddaf. Yr hyn yr aethpwyd drwyddo yr adeg hono oedd *Geometry, Trigonometry*, a *Natural Philosophy*. Fe'n boddhäwyd yn fawr yn y rhan hon o'r Arholiad nid yn unig oblegid fod y myfyrwyr wedi gwneyd eu gwaith mor dda, ond oblegid hefyd eu bod wedi ymgymeryd mor galonog â'r mater olaf a enwyd, sef Athroniaeth Naturiol. Y mae yn un o'r rhanau mwyaf dyddorol mewn *Mathematics*. Y mae yn ymdrin â deddfau cydbwysedd, deddfau hylifau, nwyau, deddfau sŵn a goleuni, deddfau symudiad, &c. Y mae llawer o bobl yn meddwl mai rhywbeth hollol annyddorol yw pob cangen mewn *Mathematics*—fod rhywbeth yn "sych" ynddynt, fel y dywedir, ac mai eu tuedd uniongyrchol yw "sychu i fyny" bob peth y cyffyrddant â hwynt. Ac yn enwedig os daw bachgen ieuanc tirf ac iraidd o ganol y wlad a'r cyfarfodydd gweddïau i gyffyrddiad â hwynt, tybiant na byddant fawr o dro nes "sychu i fyny" bob naws ac iraidd-dra oedd ynddo. Ond y mae y syniad yn hollol gyfeiliornus. Yr ydym yn gwybod am fyfyriwr, yr hwn pan yn astudio deddfau goleuni a syrthiai yn aml ar ei liniau ger bron Duw, wedi ei daraw gan fawredd a gogoniant y deddfau hyny. Clywsom ef yn dyweyd nad oedd dim ond y Bibl ei hunan a barai iddo addoli yn fwy. Y gwirionedd ar y mater yma ydyw mai "sych" oedd y bachgen ieuanc hwnw cyn myned i'r coleg, ond nad oedd pobl eto wedi gweled y sychder; ac mai dyna y trychineb a'i cyfarfyddai yn nghanol pa amgylchiadau bynag y gosodid ef druan.

Fe wneir llawer o waith yn y Coleg gydag *Algebra* hefyd. Fe eir yn lled bell i mewn i'r gangen hon; ac ni foddlonir ychwaith ar fod o flwyddyn i flwyddyn yn yr un pethau, ond eir ymlaen i dir newydd. Yr ydym yn llwyr argyhoeddedig nad oes dim ond mantais i'w ddysgwyl oddiwrth hyn. Fe fydd *Algebra* y Coleg yn fendith i'r Corff. Fe welir ei effeithiau flynyddoedd i ddyfod mewn craffder ac eglurder meddwl. Fe weithreda fel yr awelon i chwalu niwl y pulpudau ymaith. Llawer o gymylau a thywyllwch sydd yno yn aml. Y mae rhai o'r beirdd mwyaf a'r athronwyr mwyaf wedi bod yn hynod o fedrus mewn Mathematics. Gwnaed y gangen hon hefyd yn destun astudiaeth gan un o bregethwyr goreu Cymru yn yr oes bresennol. Ac nid oes ond ychydig o ddynion mawr wedi ei dirmygu. Yr oedd Syr W. Hamilton yn gwneyd hyny. Ond un o'r pethau mwyaf eglur yn rhai o'i lyfrau ef yw diffyg trefn ac eglurder meddwl. Yr oedd John Stuart Mill yn llawer cliriach ei feddwl, er nad oedd ei athroniaeth gystal. Y mae yn dda genym gael dyfynu geiriau Thomas Carlyle ar y mater hwn. Fe adawodd ryw gymaint o arian yn ei ewyllys er cefnogi yr astudiaeth o'r gangen hon yn Mhrifysgol Edinburgh; ac wrth wneyd hyny dywedai "os dangosai dyn fedr mewn Mesureg pur, y byddai hyny bob amser yn arwydd nid yn unig o astudiaeth drylwyr, ond hefyd o feddwl clir a threfnus; ac fod y ffaith hon yn llawn addewidion da ar gyfer y dyfodol ymha gylch bynag y byddai yn troi ynddo."

Y maent yn sefyll yn dda yn yr ieithoedd Groeg a Lladin. Y maent yn meddu gwybodaeth o ramadeg a chyfansoddiad yr ieithoedd; ac y mae y cyfieithiadau wedi ei hysgrifenu ar y cyfan yn dda. Fe welir oddiwrth y rhestrau fod rhai wedi cyrhaedd y safon, a llawer o honynt heb fod yn bell oddiwrtho. Y mae y myfyrwyr hefyd yn symud gyda'u gilydd yn dda iawn yn yr ieithoedd hyn. Un o'r pethau mwyaf hyfryd yw gweled cyfangorff y dosbarth yn symud ymlaen gyda'u gilydd, heb ond ychydig yn ymlusgo ar ol. Ac y mae yn ddiammeu yn un o'r arwyddion goreu fod gwaith da yn cael ei wneyd gyda hwynt. Ac yn y cwbl ynghyd, y Flwyddyn Gyntaf y mae gymaint a 15 o'r myfyrwyr wedi cael hanner y safon; yn yr Ail Flwyddyn y mae y cwbl ond un, a gwaeledd oedd yn analluogi hwnw; yn y Drydedd Flwyddyn, y mae yr oll; ac yn y Bedwaredd Flwyddyn y mae y cwbl ond un. Y mae y fleithiau hyn yn siarad yn rhagorol am waith y Coleg.

Y mae yn ddyledus arnom hefyd ddwyn tystiolaeth i'r llafur a gymerir gyda'r iaith Seisonig. Y mae pwys mawr yn cael ei roddi ar yr iaith hon, ac y mae gwerth uchel yn cael ei roddi arni yn yr Arholiad, er mwyn calonogi y myfyrwyr i gymeryd gwir drafferth gyda hi. Y flwyddyn gyntaf y safon yw 300, yr ail 340, y drydedd a'r bedwaredd 400. Yr ydym yn gallu tystio yn ddibetrus fod iaith dda gan gyfangorff y myfyrwyr; ac y mae rhai o honynt yn cyrhaedd arddull rhagorol. Un o amcanion mawr yr astudiaeth o'r ieithoedd eraill ydyw ennill gallu mwy yn yr iaith Seisonig. Y mae yn anmhosibl cyrhaedd arddull da heb fyned i drafferth dirfawr iawn Byddai Lord Chesterfield am flynyddoedd lawer yn arfer ysgrifenu i lawr bob darn hyawdl a welai yn yr iaith Seisonig, ac wedi hyny cyfieithai ef i'r Francaeg; neu os dygwyddai fod mewn iaith estronol, cyfieithai ef i'r Saesoneg. Ac meddai, "A certain eloquence became at last habitual to me." Fe gyfieithodd Lord Chatham Demosthenes i'r Saesoneg, ac fe ddarllenodd eirlyfr mawr Bailey ddwywaith drosodd yn ofalus, er mwyn cyrhaedd meistrolaeth lwyr o'r iaith Seisonig. Cyn bod ei fab, William Pitt, yn 20 oed yr oedd wedi darllen agos yr oll o'r clasuron; ac wedi darllen llawer o honynt allan, gan aros uwch ben y darnau oedd yn ei swyno fwyaf. Am dano ef y dywedai Fox, "I never hesitate for *a* word, but Pitt never hesitates for *the* word." Fe gyfieithodd Lord Mansfield ar-

eithiau Cicero i gyd i'r Saesoneg, ac wedi hyny cyfieithodd hwynt yn ol drachefn i'r Lladin. Eu hamcan oedd cyrhaedd llwyr feistrolaeth o'r iaith.

Yr oedd myfyrwyr y Drydedd Flwyddyn yn cymeryd rhan o gyfrol Sir W. Hamilton ar *Metaphysics;* ac y mae yn deg i ni ddyweyd am danynt eu bod wedi astudio y rhan hon yn drwyadl iawn, fel ag yr oedd pob papyr a gawsom yn bapyr da, ac amryw o honynt yn agos at y safon.

Y mae yn hyfrydwch genym weled hefyd fod yr oll o'r myfyrwyr, oddigerth rhyw ychydig iawn, yn ymgymeryd â holl faterion y dosbarth. Peth peryglus iawn yw i ŵr ieuanc gymeryd rhyw hoffder at un pwnc, a rhyw feddwl fod ganddo allu neillduol yn y cyfeiriad hwnw, tra nad oes ganddo ddim mewn cyfeiriad arall. Tebyg ydyw y bydd yn edifarhâu ymhen ychydig flynyddoedd, ac yn gofidio am y gweddill o'i oes oblegid ei anwybodaeth o hono. Pwysig anghyffredin yw cael dysgyblaeth feddyliol mewn gwahanol gyfeiriadau. Fe ddywedir am Huxley a Tyndall, pe buasent wedi cael dysgyblaeth feddyliol mewn athroniaeth yn gystal ag mewn gwyddoniaeth, y buasent wedi cymeryd safle bur wahanol ger bron y byd. Ni buasent byth yn dangos y fath wendid wrth fyned i diriogaethau crefydd. Ond unochrog hollol fu y ddysgyblaeth yr aethant dani. Yr ydym yn meddwl fod y ddysgyblaeth feddyliol a geir yn y Bala yn ddysgyblaeth gryno ar y cyfan. Ac fel y gwelir yn raddol y gellir, diammheu genym y gwneir hi yn fwy felly. Yr ydym yn llawenhâu wrth feddwl fod cynifer o ddynion ieuainc yn myned bob blwyddyn dan ddysgyblaeth mor dda a thrwyadl. Bydded iddynt gofio mai parotoi y maent ar gyfer gwaith mawr, y gwaith mwyaf o bob gwaith ar y ddaear. Ac os byddant am dreulio blynyddoedd wedi hyny i ymbarotoi ar ol gadael y Bala, nid yw ddim gormod. Gallai y bydd rhai o'u hen gyfeillion a'u cydnabod yn grwgnach o herwydd hyny. Ond ewch ymlaen er hyny. Ac wedi i chwi orphen, teflwch y cwbl i lawr wrth draed Mab Duw. Ac ond i chwi wneyd hyny, gellwch deimlo yn berffaith dawel y bydd yr ychydig Lladin a Groeg, yr ychydig Algebra ac Athroniaeth, fydd genych yn dysgleirio fel gemau wrth ei draed ef.

Wedi i'r bechgyn ieuainc hyn ddysgyblu eu meddyliau, a pharotoi mor dda ar gyfer gwaith mor ardderchog, buasai yn dda genym pe buasai cyfundrefn well iddynt fyned i mewn iddi nag sydd gan y Methodistiaid. Gallant hwy fod fel y cleddyf gloew, ond y perygl ydyw iddo gasglu rhwd a chael pylu ei fin. Dysgu gweithio y maent, ond nid yw y gyfundrefn yr ânt i mewn iddi yn gyfryw ag i roddi calonogiad mawr iawn i waith. Nid oes dim mor bwysig ar ol gadael y Coleg ag i ddyn ieuanc gael ei daflu i amgylchiadau lle y bydd *raid* iddo weithio. Cyfeirio yr ydym yn benaf at astudiaeth. Buasai yn dda genym weled gweinidogaeth mwy sefydlog yn ein plith, yn lle cyfundrefn Sabboth y mis neu lai na hyny. Os nad oes rhywbeth yn y dyn ei hunan i'w orfodi i weithio, nid oes genym ddim petrusder i ddyweyd nad cyfundrefn â thuedd uniongyrchol ynddi i gynnyrchu dynion diog yw y gyfundrefn hon. Ond yr ydym yn hyderu am y dynion ieuainc hyn eu bod wedi cael cymaint o flas ar weithio, fel y mynant weithio o dan ba gyfundrefn bynag y byddant.

Yr oedd yn hyfrydwch genym ddeall hefyd am y myfyrwyr presennol yn y Bala eu bod yn cadw eu crefydd i fyny. Nid oes dim mewn cwrs o astudiaeth a ddylai filwrio mewn un modd yn erbyn crefydd ysbrydol y dyn, os bydd ganddo; yn hytrach, y mae pob peth o blaid hyny; ac y mae llawer o'r dynion goreu fu yn y byd wedi bod yn edrych yn ol gyda phleser at eu bywyd yn y Coleg fel y bywyd mwyaf duwiol a dedwydd yn eu hanes. Pa flas bynag sydd i'w gael ar y llyfrau yn y Coleg, ni raid iddo ddiflasu crefydd y dyn mewn un modd. Pan oedd Ulysses yn myned heibio yr ynys lle y trigai y Sireniaid, y rhai a swynent y morwyr i'w dinystr wrth fyned heibio, fe rwymodd efe ei hunan wrth yr hwylbren, ac fe roddodd gŵyr yn nglustiau y morwyr. Ond pan yr oedd Orpheus, y cerddor, yn myned heibio yr un ynys yn ei long, fe chwareuodd fiwsig mwy ardderchog; ac nid oedd wedi hyny raid am y cŵyr. Felly yr ydym yn gobeithio am danoch chwithau tra yn nghanol swynion gwahanol eich astudiaeth yn y Coleg, y bydd miwsig yr efengyl yn seinio yn eich clustiau o hyd, ac y bydd mor fawr ei swyn fel ag i foddi pob swyn arall.

Y mae genym un gair eto ag y mae yn hyfrydwch genym adgoffa ein cyfeillion ieuainc o hono. Nid oes dim darfod i fod ar eich gwaith tra y pery y byd hwn. Y mae Prof. Mahaffy wedi gwneyd llyfr yn ddiweddar ar *The Decay of Modern Preaching*. Yn yr Eglwys y mae ef yn aelod o honi, gallai ei fod yn wir. Ond fel ffaith gyffredinol, anmhosibl iddo byth fod. Dadleuai Hume fod gwyrthiau yn anmhosibl. Digon hawdd dadleu felly, meddai gwrthwynebydd, os dywedwn nad oes un Duw yn bod. Ond unwaith y dywedwn fod Duw yn bod, y mae gwyrthiau yn bosibl bob moment. Felly, yr atebiad goreu i Prof. Mahaffy yw yr un peth. Y peth hawddaf fu erioed yw dadleu fod y pregethu nerthol, anorchfygol, wedi darfod, fod yr hen bwerau ofnadwy wedi diflanu am byth, ac na thrydenir y galon ddynol o'r pulpud byth mwy—y peth hawddaf fu erioed, meddwn, yw dadleu fel hyn, os anghofiwn, fel y gwna y Proffeswr, fod yr Ysbryd Glân yn bod. Ond os addefwn fod Crist yn bod yn y nefoedd ac yn Ben yr eglwys yno, ac os addefwn ei fod yn preswylio trwy ei Ysbryd yn yr eglwys hyd ddiwedd amser, gall unrhyw ddydd fod eto yn ddydd y Pentecost, a gall rhyw ddyn eto fod yn John Elias neu Daniel Rowlands, neu Paul neu Pedr; a'n gweddi a'n hyder ni ydyw y bydd rhai o'r dynion ieuainc hyn yn profi eu hunain felly.

*Duwinyddiaeth.*

Wedi cael yr anrhydedd o osod y cwestiynau yn y gangen arbenig hon o astudiaeth yr efrydwyr, y mae yn dda gan yr Arholwr gael eto y cyfle presennol i ddadgan y boddlonrwydd cyffredinol a deimlodd wrth ddarllen yr atebion a ddychwelwyd i'w law. Prif feusydd y llafur am y flwyddyn oedd: *Yr Epistol at yr Ephesiaid*, dosran o *Hanes yr Athrawiaethau* gan *Neander*, ac *Athrawiaeth y Cyfiawnhâd*. Gosodwyd dwy restr o gwestiynau ar y materion hyn, y rhai a gyhoeddwyd yn y *Goleuad* am Mehefin 24.

Nid oes anghen am roddi yma unrhyw fanylion ynghylch y gwaith, nac am deilyngdod cymharol yr efrydwyr; canys hyny a wneir i raddau digonol trwy gyhoeddiad y rhestrau sydd yn awr ger bron. Mewn dosbarth mor lïosog a chymysg, yr hwn oedd yn cymeryd i mewn y myfyrwyr o bob oed a phob safle, nid oedd cyfartaledd na dim yn agos i hyny i'w ddysgwyl. Ac fe welir nad yw y canlyniad yn ei ddangos ychwaith. I'r llïaws o'r ymgeiswyr, pa fodd bynag, y mae clod a dim ond clod yn ddyledus, ar gyfrif rhagoriaeth diammheuol eu gwaith. Y blaenaf ar y rhestr, sef Mr. John Williams, Llanbrynmair, sydd yn deilwng o grybwyll-iad tra anrhydeddus, fel un yr oedd ei atebion yn yr holl faterion yn llawn foddlonol, tra y gŵyr efe ei hun yn dda fod y brodyr ieuainc sydd yn ei ddilyn mor agos yn gydymgeiswyr teilwng a pheryglus iddo. Yr oedd arwyddion amlwg am y mwyafrif mawr o'r gweddill hefyd eu bod wedi rhoddi astudiaeth fanwl i'r materion, gan wneyd defnydd helaeth o'r manteision awdurol goreu oedd i'w cael, a thalu sylw deallus i hyfforddiadau gwerthfawr a meddyliau dyfnion yr hybarch Athraw galluog, wrth draed yr hwn y cawsant y fraint o eistedd. Nid yw y ganmoliaeth hon yn eiddo i bob un, mae yn wir; ond lle byddo hanner cant neu well o wŷr ieuainc ynghyd, nid all fod na bydd yn eu mysg ryw ychydig nifer heb fod yn ymdeimlo â'u rhwymedigaethau, nac yn gwerthfawrogi eu cyfleusderau. A gadael allan yr ychydig eithriadau gwaelion hyn, pa fodd bynag, nid oes achos am betrusder i ddywedyd fod sefyllfa yr Athrofa ymhob modd yn gyfryw ag i roddi boddlonrwydd hollol i'w chyfeillion, ac nas gall lai na bod o'r gwasanaeth goreu i'r Cyfundeb.

Yr oedd deg o ymgeiswyr am fynediad i mewn i'r Athrofa eleni, chwech o ba rai a fu yn llwyddiannus, sef,

| | |
|---|---|
| O. P. Owen, Arfon. | W. P. Jones, Salem. |
| Owen Jones, " | J. Williams, Llangoed. |
| W. Davies " | J. E. Jones, Denbigh. |

Y mae yn hyfrydwch genym fod y Pwyllgor wedi ychwanegu y Groeg *(Greek Accidence)* at bynciau yr Arholiad i'r ymgeiswyr am fynediad i mewn. Nid oes dim llawer o flynyddoedd er pan y mae yr Arholiad hwn yn bod; rhoddwyd ef yn hawdd iawn ar y dechreu, a hawdd y mae wedi bod; ond fe'i gwneir yn raddol yn fwy anhawdd; ac fe osodir pwys neillduol ar fedrusrwydd yn yr iaith Seisonig.

OWEN JONES, } *Arholwyr*
ELLIS W. EVANS, } *Clasurol.*

WILLIAM JAMES, } *Arholwr Duwinyddol.*

# Amrywiaethau.

TYMHER GWYNFANLLYD.

UN o'r cosbedigaethau sydd yn disgyn ar ddyn o herwydd tymher gwynfanllyd, yw ei rwystro rhag derbyn cydymdeimlad, hyd yn nôd pan fyddo yn ddigon rhesymol iddo gael hyny. Yr ydych yn synu, fy nghyfaill, nad oes neb yn ymddangos yn cydymdeimlo â chwi yn y brofedigaeth sydd yn ddiweddar wedi eich cyfarfod. Y rheswm yw, gwybyddwch, eich bod wedi gofyn a chymeryd i chwi eich hunan drwy yr holl flynyddoedd a basiodd lawer mwy o gydymdeimlad na'r hyn oedd yn briodol i chwi. Yr oeddech agos bob dydd o'ch oes yn adrodd eich trallodion yn ocheneidiol i bawb y byddech yn cyfarfod â hwynt; ac, wedi'r cwbl, mae yn amlwg erbyn hyn nad oedd eich trallodion chwi yn ddim mwy na llai na'r hyn yr oedd llïaws o'ch cymydogion yn eu dwyn, heb iddynt hwy agor eu safnau i gwyno o'u herwydd. Yr ydych mor fynych wedi gwaeddi Blaidd, blaidd! pryd nad oedd blaidd yn agos, fel nad ydyw pobl yn meddwl fod dim mwy o sail i'ch cwynfanau presennol nag i'ch rhai blaenorol. Heblaw hyny, mae ganddynt rywbeth arall i'w wneyd na threulio eu hamser i ddyweyd *Pity, pity!* wrthych chwi, pan y gwyddant fod eraill mewn profedigaethau gyda chystal neu well hawl i gwyno â chwithau.—*T. C. T.*

GAN Y GWIRION Y CEIR Y GWIR.

YR oedd teulu cyfrifol amser yn ol wedi gwahodd gŵr dyeithr oedd yn dal swyddogaeth gyhoeddus, i'w tŷ i yfed tê. Pan wedi eistedd wrth y bwrdd dyma ferch fach i ŵr y tŷ, rhwng chwech a saith mlwydd oed, yn dra sydyn yn gofyn i'r gŵr dieithr, "P'le y mae eich gwraig chwi?" Yr oedd yn dygwydd fod y gŵr hwnw yn ddiweddar wedi ymadael â'i wraig, ond yr hyn na wyddai yr eneth; ac yr oedd ei chwestiwn fel hyn yn anghysuro ei feddwl yn fawr. Pa fodd bynag, ei ateb oedd, "Nis gwn i ddim." "Ai ni wyddoch chwi ddim?" ebe hithau: "pam na wyddoch chwi?" Yr oedd ei rhieni yn rhoi pob awgrym arni i fod yn ddystaw; ond ailadrodd ei chwestiwn yr oedd hi; ac er mwyn cael llonydd gan ei boenydies fechan, nid oedd ganddo ond dyweyd y gwir ar unwaith. "Wel, nid yw'r wraig a minnau yn byw gyda'n gilydd. Yr oeddem yn meddwl, gan na fedrem gyttuno, mai gwell oedd i ni ymadael." Ymlaen heb attal ei thafod yr aeth y siaradres fach ddi-ildio, gan ddywedyd, "Methu cyttuno, a myn'd i ffwrdd oddiwrth eich gilydd! pam na fuasech chwi yn gwneyd fel y bydd fy nhad a 'mam i yn gwneyd? Pan fyddan' nhw yn methu cyttuno, myn'd i gyffio a gwthio eu gilydd a wnân' nhw."

BARFONIAETH.

BYDDAI Caledfryn yn arfer eillio ei farf yn llwyr; ond cyn diwedd ei oes gadawodd iddi dyfu, a chredai mai hyny fyddai oreu i bawb. Mewn llythyr a dderbyniasom oddiwrtho, Ionawr 16, 1866, dywedai fel hyn: "Yr wyf wedi bod yn astudio Barfoniaeth yn ddiweddar, ac wedi dyfod i'r penderfyniad fod yn well i bob dyn adael i'w

farf dyfu na'i thori megys y mae yr arferiad. Cyfansoddais englyn ar y pwnc, a dyma fo,—

Llwyn o dwf llawn a difêth,—i wir fardd
O farf wèn sy 'n rhywbeth,
Yn lle gorfod bod yn beth
A gwyneb llwm fel geneth.

Dyma un arall:—

Hir wrych oedd gan batrieirch hen—ac Aaron,
Ac eraill heb amgen;
I'r eithaf rho'i gwŷr Athen
Barch i wrych hybarch yr ên."

Yna äi ymlaen yn ei lythyr, a dywedai, "Meddyliwch am hyn, a gadewch i'ch barf dyfu cyn y gwelwyf chwi eto. Edrychech yn ddiammheu yn llawer gwell, ac ni fyddech mor chwannog i gael anwyd."—*Hwfa Môn.*

### YR EITHRIAD.

Bu yr enwog Dr. Strong, Hartford, Connecticut, America, mewn cyfnod boreuol ar ei weinidogaeth, yn pregethu dros ryw amser mewn pentref cymydogaethol. Un diwrnod, wele bwyllgor o frodyr yn galw gydag ef i'w gydnabod am ei wasanaeth; ac ar ol pesychu ac ymattal am dipyn, dywedai siaradwr y cwmni nad oeddynt hwy yn galw am ei wasanaeth ef ymhellach. "Beth yw y rheswm am hyny, foneddigion?" gofynai y gweinidog. "Wel," ebe y llefarydd gyda chryn betrusder, "mae rhyw argraff ar feddwl y bobl fod tuedd ynoch at yr athrawiaeth o gadwedigaeth pawb oll yn y diwedd." "Foneddigion," atebai y gweinidog ieuanc, "ni fum i erioed yn pregethu yr athrawiaeth hono; ond pe byddai i mi byth wneuthur hyny, yr wyf yn sicrhâu i chwi y gwnawn bobl y pentref hwn yn eithriad oddiwrth ddeiliaid cadwedigaeth gyffredinol."

### Y GWYNEBAU.

Ychydig amser yn ol, daeth benyw berthynol i'r sipsiwn at ddwy ferch ieuanc, gan ddywedyd wrthynt, os rhoddent iddi swllt bob un, y dangosai hi iddynt wynebau y meibion a gaent yn wŷr mewn llestraid o ddwfr. Rhoddwyd y ddau swllt iddi, a dyma'r llestraid dwfr ger eu bron. Wedi iddynt edrych i mewn iddo, hwy a lefent, "Nid ydym ni yn gweled dim ond ein gwynebau ein hunain." "Wel," ebe yr hen sipsiwnes, "pan y byddoch wedi priodi, eich gwŷr fydd pïau'r gwynebau hyna; a'u gwynebau hwy felly a fyddant."

### PREGETH PROFIAD.

Un Sabbath yr oedd gweinidog cymeradwy yn rhoddi i'w gynnulleidfa bregeth ragorol ar brofiad cristion yn ei yrfa grefyddol Un o'i wrandäwyr, pan yn cyfarfod âg ef yr wythnos ganlynol, a fawr ganmolodd y bregeth, ac a ofynodd pa faint o amser a gymerodd iddo i'w chyfansoddi. Ateb y gweinidog oedd, "Oddeutu ugain mlynedd." Yr oedd ugain mlynedd a mwy o'i brofiad ef ei hun yn gwneyd i fyny ddefnyddiau y bregeth hono.

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## SHELLA.

Gan eu bod wedi bod cyhyd o'u gorsaf eu hunain yn gofalu am yr achos yn Shillong, penderfynodd Mr. a Mrs. Stephens aros y flwyddyn hon yn Shella dros y tymmor poeth, a pheidio myned am rai misoedd ar yr adeg hono, fel yr arferid, i aros yn Laitkynsew ar y Bryniau. Da genym ddeall wrth lythyr a ysgrifenwyd gan Mr. Stephens, Mehefin 5ed, nad oeddynt hyd hyny yn teimlo fod ganddynt achos mawr i edifarhâu am aros yn Shella. "Yr ydym," meddai, "wedi aros hyd yr adeg bresennol yn Shella, ac yn awr yr ydym yn dysgwyl y cawn ddianc heb un brofedigaeth. Nid fod y gwres wedi myned heibio, oblegid yn awr fel yr wyf yn ysgrifenu yr wyf yn ei theimlo yn drymaidd iawn. Ond nid wyf yn meddwl y buasai i hyn wneuthur niwed i mi. Yr wyf fi yn chwysu yn helaeth, ac yn hytrach yn mwynhâu y gwres. Ond y mae yn wahanol i Mrs. Stephens; ar yr un pryd, er ei bod wedi dyoddef yn achlysurol oddiwrth gur yn y pen y mae wedi dal i fyny yn rhyfeddol. Mae wedi cadw ei hysgol bob dydd oddieithr ar un achlysur, pan y gosodwyd hi o'r neilldu gan ymosodiad tost iawn am dri diwrnod. Yr wyf fi yn teimlo oddiwrth amlder didor y gorchwylion yn fwy nag oddiwrth y gwres, ac ofnwyf y parhâf i deimlo felly. Mae yma dri dosbarth gwahanol o waith yn gofyn sylw bob dydd, heblaw nifer o alwadau nas gellir eu rhoddi dan un o'r tri,—sef ysgolion, meddyginiaeth, a'r gwaith cenadol uniongyrchol. Yr ail sydd yn rhoddi trafferth neillduol i mi. Yr wyf wedi ceisio ei gadw at ei amser priodol, gan roddi i'r bobl dair awr yn ystod y rhai yr wyf yn barod i'w gwasanaethu; ond na, ar bob awr o'r dydd, ac weithiau o'r nos hefyd, maent yn dyfod gan dori ar draws pob math o waith. Heblaw hyn dysgwylir i mi fyned ymaith ar unwaith wrth unrhyw alwad i weled cleifion. Weithiau ar ol eu rhybuddio i beidio galw arnaf i fyned i ben uchaf y pentref yn ngwres y dydd, os na bydd gwir anghen, byddaf yn cael na bydd dim yn gofyn fy sylw ond toriad bychan na fuasai plentyn prin yn llefain o'i herwydd; neu fe allai y bydd y claf yn eistedd i fyny, a than wenu yn fy nghroesawu, gan adrodd am ryw anhwyldeb y bydd yn dyoddef dano—anhwyldeb fydd fe allai yn gyffredin i'r bobl oll ar yr adeg hono. Yr wyf wedi cael fod ceisio gweinyddu meddyginiaeth ynddo ei hunan, yn y pentref mawr hwn, yn faich trwm mewn gwirionedd.

"Y mae un o'r athrawon cyntaf wedi bod i ffwrdd am ddau fis, ac yr wyf finnau yn ystod yr amser hwnw bob dydd ond dau wedi cymeryd ei ddosbarthiadau; a threuliwyd y ddau ddiwrnod hwnw mewn myned a dyfod o bentref pell lle yr addawswn dreulio Sabboth yn ystod y tymmor

poeth, gan fy mod wedi bod gyhyd yn absennol yn Shillong. Yr wyf yn awr yn pregethu bob Sabboth. Nos Wener diweddaf dringais i Moosteh, pentref hanner y ffordd o Shella i Lait. Derbyniwyd dau i'r eglwys; bu un yn aelod o'r blaen, ond ymadawodd o herwydd rhyw gweryl. Cefais fy moddhâu yn fwy nag arferol yn hwn. Dadganai ei ofid am y cam a gymerasai o'r blaen, a dywedai mai gwendid yr achos oedd wedi ei ddwyn i ystyriaeth."

---

## MAWPHLANG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG MEH. 12FED, 1882.

YN ddiweddar yr oeddym yn derbyn tri i'r eglwys o'r newydd—dau mewn oed, ac un bachgen tuag 8 neu 10 oed. Yr oedd eu gwybodaeth grefyddol a'u profiad o bethau yr efengyl yn rhoddi boddhâd mawr. Yr oedd Mr. Hughes yma pan oeddym yn eu derbyn, a holodd hwynt yn bur galed, ac yr oeddynt hwythau yn ateb yn wir dda, yn enwedig y bachgen bach, ac un o'r ddau arall. Yr oeddwn i wedi cael ymddyddan â hwynt yn flaenorol yn ein tŷ. Gofynais i un o honynt paham yr oedd arno eisieu gadael ei hen grefydd a chrefydd ei dadau a'i deidiau; atebai mai wedi gweled yr oedd nad ydyw yn dda i ddim, ac fod ei holl ddefodau yn ffol a diystyr. Y mae yn gwybod yn bur dda am y rhanau o Bengal sydd yn agos i'r Bryniau, a gofynais iddo pa beth oedd ganddo yn erbyn ymuno â'r grefydd Hindŵaidd: atebodd fod hono mor ffol a'r grefydd Gassïaidd os nad yn ffolach, gan mai gwaith eu dwylaw eu hunain a addolent, ac nid y Duw a'u gwnaeth. Wel, meddwn innau, dyna y Mahometaniaid yn addoli Un Duw yr hwn a'u gwnaeth; a ellwch chwi ddim myned atynt hwy? "Wnaiff eu crefydd hwynt ychwaith mo'r tro," meddai, "oblegid nid oes aberth a Cheidwad ynddi hi." Gofynai Mr. Hughes iddo paham yr oedd arno eisieu dyfod i'r *society*, yn lle credu yn Iesu Grist ac aros y tu allan i'r eglwys? "Am mai yn yr eglwys y mae y cynghorion a'r cymhorth goreu i fyw yn dduwiol i'w cael," meddai yntau. Yr wyf wedi son wrthych am dano o'r blaen fel un oedd yn elyniaethus iawn at grefydd pan ddaeth yma gyntaf.

Y mae y bachgen bach a dderbyniwyd yn un o'r rhai mwyaf *pert*. Dywedai wrth un o'r Cristionogion, "Yr wyf yn awr yn cofio am bob hogyn ag y bûm yn ffraeo neu yn ymladd âg ef yn Cherra, ac y mae yn edifar genyf yn awr am y geiriau bryntion, drwg, fyddwn yn dyweyd wrthynt a'r teimladau cas fyddai genyf tuag atynt." Gobeithio y pery ei gydwybod yr un mor dyner gyda phob pechod hyd ei fedd. Y mae un arall wedi cynnyg ei hun i'r eglwys,—dyn o Mawmluh ddaeth i fod yma o dan driniaeth gyda'r parlys fisoedd yn ol. Bydd yn ddyddorol gan filoedd ddeall ei fod bob dydd wedi bod yn defnyddio yr un *electric apparatus* ag y bu y diweddar Barch. Dr. Parry, Bala, yn ei defnyddio, a chafodd y defnydd o honi ei fendithio er adferiad iddo. Pan ddaeth yma nis gallai gerdded cam, yn awr gall redeg a neidio. Y mae yn bwriadu sefydlu yn Mawphlang, ac yn awyddus i gael ei dderbyn i'r eglwys yma. Y mae yn bur debyg y byddwn yn ei dderbyn ymhen pythefnos neu dair wythnos. Y mae yn ddyn lled ddeallus, a gair da iddo gan bawb. Deuai i fy nosbarth darllen nos Fawrth yn rheolaidd o'r adeg y gallodd gerdded, ac y mae yn llawenydd mawr i mi deimlo mai efe ydyw yr unig un yn y dosbarth sydd heb ddyfod i'r eglwys. Pan ddaw ef bydd yr oll wedi dyfod, a bydd raid i minnau, os am dori tir newydd, gael *set* o rai eraill iddo.

Er ys tipyn yn ol yr oedd yma briodas Gristionogol yma—y gyntaf o'r fath yn Mawphlang—rhwng U Ihshon a Ka Rage. Yr oedd yr ysgoldŷ yn llawn o edrychwyr a chyfeillion, a mawr ganmolid ein dull ni o briodi; ond y gwaethaf yw, mai *rhinwedd* ein harferion, a phurdeb addysg y grefydd Gristionogol, ydyw y rhwystr mwyaf ar ffordd ei llwyddiant.

Er yr holl ganmawl, y mae un newydd drwg. Bu raid i mi attal rhai o Swper yr Arglwydd am amser oblegid iddynt fyned i ymladdfa teirw, ac yn eu plith yr oedd yr athraw. Nid oes neb yn cael ei oddef yn yr eglwys yn unlle yn Khasia a aiff i'r fath chwareu; ond yr oeddwn yn teimlo mai ieuanc ydyw yr eglwys, a newyddion yn y ffydd ydyw y Cristionogion eto yn Mawphlang, fel ag y buasai hyny, hwyrach, yn rhy galed, yn enwedig am y trosedd cyntaf o'r fath. Ond dylasai yr athraw wybod pethau gwell, gan ei fod yn Gristion er ys blynyddau lawer, ac wedi ei fagu yn y fam-eglwys yn Nongsawlia. Ond yr oeddwn yn teimlo y buasai y gwahaniaeth yn rhy anghysurus pe diarddelasid *ef* a gadael y lleill i fewn. Oblegid yr ystyriaeth yna, ynghyd a sefyllfa y gwaith yn y dosbarth yn bresennol, ni ddiarddelwyd neb, ond penderfynwyd cadw y rhai euog heb y cymundeb am bedwar neu bum' mis. Gobeithio y bydd yr amgylchiad yn wers iddynt, nid yn unig gyda hyn, ond gyda thriniaeth anifeiliaid yn gyffredinol, oblegid y mae ymddygiad y bobl (yn Baganiaid a Christionogion), tuag at greaduriaid direswm yn anghredadwy o greulawn.

## SHANGPOONG.

**Llythyr oddiwrth y Parch. R. Evans, dyddiedig Shangpoong, Mai 23ain, 1882.**

Yr oeddym yn derbyn un i'r eglwys yn y cyfarfod eglwysig diweddaf. Yr oeddym wedi cynnyg dau yr wythnos flaenorol, ond methodd un a bod yn bresennol o herwydd afiechyd. Dysgwyliwn ei dderbyn yntau nos yfory. Dyn ieuanc tuag un ar hugain oed ydyw yr un a dderbyniasom, a hen ŵr ydyw y llall. Bu hwn yn feddwyn a *gambler* ar hyd ei oes; ond symudodd yma o'r pentref oddeutu dwy flynedd yn ol, ac y mae er hyny wedi ymwadu yn hollol â phob un o'r ddau ddrwg. Yr oedd un arall yn cynnyg ei hun ar unwaith a'r rhai uchod; ond penderfynodd y cyfeillion yma oedi ei dderbyn nes chwilio ychydig i'w hanes. Yr oedd rhai wedi clywed y byddai, pan ymhell, yn cymeryd ychydig o ddiod feddwol; a chan fod llwyrymwrthiad â diodydd meddwol yn ammod derbyniad, nis gellid ei dderbyn nes chwilio i'r mater. Yr wyf yn gobeithio er hyny, ac yn credu, fod yr Ysbryd Glân mewn ymdrech âg ef, ac y bydd iddo fod yn ddyn defnyddiol yn ngwinllan yr Arglwydd Iesu. Yr oedd yn dda gan fy nghalon weled gwirioneddau yr efengyl yn rhwygo ychydig ar ei galon galed, ac yn peri iddo wylo fel plentyn, ynghyd a llawer eraill; a daeth ef ataf i'r tŷ yma ar ol yr oedfa, mewn argyhoeddiad dwfn, ac yn bur hawdd ei drin, i gynnyg ei hun i'r eglwys. O na ddeuai yr Ysbryd Glân i argyhoeddi a dwysbigo y Khassiaid, fel y mae Efe wedi gwneyd lawer gwaith yn Nghymru, a pheri iddynt waeddi beth i wneyd i fod yn gadwedig!

Dywedais yn fy llythyr diweddaf o Mawphlang fod gwraig yn y pentref o dan argyhoeddiad, ac yn ceisio ei goreu i berswadio ei gŵr i symud i blith y Cristionogion. Mae y wraig yn parhâu yr un fath, a'r gŵr yn ceisio ymddangos o leiaf yn lled galed a diystyr o'r peth. Bum yn siarad â'r wraig yn hir ddeuddydd neu dri yn ol, ac yn ceisio goleuo ei meddwl. Y mae hi wedi addaw gweddïo ar Dduw yn enw Iesu Grist am i'w gŵr gael newid ei feddwl a'i galon. "Sut y gwn i," meddai, "pa sut i weddïo?" a rhoddais innau ffurf gweddi fêr iddi, ac aeth ymaith gan addaw ei gweddïo bob dydd nos a boreu. Gŵr y wraig yna sydd yn parhâu yn galed; ond y mae brawd y dyn yna eisieu yn fawr bod yn Gristion, ond fod ei wraig a'i fam yn parhâu yn galed. Mae yna amryw fel yna na wyddom pa bryd y gallant benderfynu dyfod i'n plith. Yr wyf fi a'r prif bobl yma yn chwilio am gyfleusdra yn barhâus i siarad â hwy er dyfnhâu yr argyhoeddiad.

Mae enw Iesu Grist yn cael ei seinio dros holl bentref Shangpoong gan blant y pentref eu hunain. Yr oedd ugain neu ddeg ar hugain o blant yn ymdrochi ddoe yn yr afon, a bron oll,—yr oeddym yn eu gweled ac yn eu clywed,—yn canu ein penillion. Dywedai U Kypa Ka Kat wrthym, ar ol gorphen ein cyfarfod yn y pentref y Sabboth diweddaf, ei fod ef wedi clywed peth rhyfedd iawn yr wythnos gynt. Yr oedd yn cerdded llwybr ar hyd y Bryniau yma, a chlywai blant y pentref oeddynt yn cadw gwartheg yn canu cyfieithiad o "There is a fountain filled with blood," &c., a chipiodd rhywrai eraill oeddynt yn cadw gwartheg ar fryn arall hi, a rhywrai eraill mewn pant gerllaw. "Ac yr oedd y peth mor ryfedd," meddai, "fod plant Shangpoong wedi cael gafael ar waed ac iawn Crist, a'r lleisiau mor swynol, fel na fuaswn yn fy myw yn medru peidio wylo o falchder a diolchgarwch." Pa beth yw hyn ond plant Shangpoong fel plant Jerusalem yn llefain ac yn dywedyd, "Hosanna i Fab Dafydd?" Ac onid yw geiriau yr Arglwydd Iesu yn dechreu cael eu gwirio yn Shangpoong, "O enau plant bychain a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant?"

"Aed efengyl ar adenydd dwyfol wynt."

Mae y plant a'r bobl ieuainc yma yn myned ymlaen yn dda a lled ddirwystr gyda'u llafur. Mae saith neu wyth wedi cyrhaedd yr ail benned ar hugain o Efengyl Luc, ac eraill gyda'r *Hyfforddwr*.

Yr oeddwn yn priodi dau gwpwl yr un diwrnod—o Iangkiat, yr wythnos ddiweddaf. Daethant yma yn y boreu—deuddeng milldir o ffordd, ac aethant yn ol ar eu traed i fwynhâu y boreufwyd (!) priodasol.

Mae *deputation* oddiwrth 15 neu 20 o ddynion ieuainc pentref Ralliang wedi bod yma yn gofyn am ysgol. Dywedent y buasent yn adeiladu ysgoldŷ ymhen tua mis ar ol hau *rice*. Dyma ganedi eto, bron gymaint â methu rhoddi bara i'r plant. A oes dim posibl cael mwy o arian i roddi "Bara y bywyd" i bobl sydd yn gofyn am dano? Os nad ydym *ni yma* a *chwithau yna* yn gwneyd pob ymdrech galluadwy, fe tydd gwaed y bobl yma ar ein penau mor wir â'n geni. Cynnorthwywch, cynnorthwywch ni! Pe na buasai y bobl yn gofyn, buasai yn hawddach i ni fod yn dawel i edrych arnynt yn meirw yn anwybodus ac yn wrthodwyr o'r efengyl.

Daeth deg o gyfrolau prydferth o *Barnes*, ynghyd a saith o Lawlyfrau i Ddosbarthiadau Biblaidd, dan olygiad Dr. Marcus

Dodds, yma heddyw oddiwrth Mr. Jerman Jones. Nid oes un math o gyfarwyddyd wedi dyfod gyda hwy, fel nas gwn eiddo pwy ydynt. Pa fodd bynag, y maent yn *set* werthfawr iawn, a gwnawn ddefnydd da o honynt yn y dosbarth. Diolch yn fawr i bwy bynag a'u hanfonodd. Mae yn debyg y clywaf oddiwrth Mr. Jones rywbeth yn eu cylch.

---

## JIWAI.

Llythyr oddiwrth y Parch. John Jones. dyddiedig Jiwai, Mehefin 2il, 1882.

Er nad oes genyf ddim neillduol iawn i'w ysgrifenu am yr achos yn y Dosbarth hwn, da genyf ddyweyd fod pethau yn myned ymlaen yn gysurus, ac fod pedwar wedi eu hychwanegu at yr eglwys yn Jiwai yn ystod y mis diweddaf. Bu un o honynt yn yr eglwys o'r blaen rai blynyddoedd yn ol, ond syrthiodd o'r eglwys. Wrth ddychwelyd yn ol, yr oedd yn dyfod â'i bachgen bach gyda hi. Dywedai ei bod yn teimlo fel y mab afradlawn: "Pechais yn erbyn y Nef, ac o'th flaen dithau, &c." Un arall oedd hen wraig sydd yn byw yn y pentref Cristionogol er ys blynyddau bellach, ac wedi bod yn dilyn y moddion yn gyson, ond ei bod heb roddi ei hun yn gwbl i Iesu Grist. Geneth tuag un ar bymtheg oed oedd y llall, perthynas i un o'r blaenoriaid. Rhyw ddwy flynedd sydd er pan ddaeth y teulu o'r pentref. Er bod ei mam a'r lleill o'r teulu yn dilyn y moddion Sabbothol yn rheolaidd, nid ydynt o'r dechreu mor awyddus a'r ferch hon am fod yn Gristionogion; eto y maent hwythau yn dechreu ystyried eu ffyrdd, a hyderwn y dygir eu calon i ddoethineb.

Derbyniwyd un ferch, sef gwraig yr athraw, yn Nyrtiang hefyd, ac un arall yn Syndai. Y mae yn hyfrydwch mawr genym weled cynifer â hyn yn troi eu gwynebau i dŷ Dduw, ac arwydd arnynt eu bod yn ceisio yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist. Hyderwn fod eraill i'w dilyn.

Y mae yn ddyledus arnom gydnabod gyda'r diolchgarwch mwyaf diffuant dderbyniad y pethau da a phwrpasol a anfonwyd gan garedigion y Genadaeth at wasanaeth yr ysgolion, y pregethwyr, a'r tlodion yn ein plith. Buasem wedi gwneyd hyn yn gynt, ond lled anyben y cyrhaeddodd y pethau i ben eu taith– i Shillong o Gowhati. Yr ydym yn gorfod dysgu bod yn amyneddgar yn y cysylltiad hwn yn lled fynych, gan nas gellir cael pethau i ben eu taith mewn ychydig ddyddiau, fel gyda chwi yna; na, rhaid aros am fisoedd, a bod yn ddiolchgar am danynt pan y deuant. Nid yw enwau yr oll o'r rhoddwyr wrth eu rhoddion, ond nid yw ein diolchgarwch ddim mymryn llai iddynt er hyny. Dymunem ddiolch iddynt hwy a'r rhai canlynol ag yr oedd eu henwau wrth y rhan a ddygwyddodd i ni o'r dâ:—Mrs. Evans. a Mr. Thomas Powell, Llanwrtyd; Mrs. Ellinor Thomas, Maesteg; Kate Humphreys a Sarah Elizabeth Thomas, Aberystwyth; Mr. John Edwards, a "Hen Wraig o Llanrhaiadr-mochnant, Cymru;" Mrs. J T. Jones, Rhyl; Mrs. M. Jones a Mr. G. Roberts, Amlwch; Anne E. Roberts, a Miss S. Thomas. Y mae y rhoddion yn amrywiol, ond oll yn ddefnyddiol, megys *prints, calicoes, brown holland, mohairs, reels of cotton, hooks and eyes, thimbles, ladies' fancy needle-cases, braid, brooches, work-aprons, pen-wipers, pincushions, toys; periodicals—Good Words, Sunday Magazine, Band of Hope,* &c. &c. Yna cyfeiria Mr. Jones at roddion iddo ef a'i briod yn bersonol.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | | | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Y Parch. E. Parry, M.A., Newtown, tuag at y tô haiarn ar gapel newydd Jiwai | | | | 2 | 10 | 0 |
| Liverpool, Anfield Road | | | | 60 | 0 | 0 |
| Mr. John Lewis, 9, Roche Terrace, Portmadoc | | | | 2 | 10 | 0 |
| Mrs. Lewis, eto | | | | 2 | 10 | 0 |
| Willie Lewis, eto | | | | 0 | 18 | 0 |
| * * * eto | | | | 0 | 10 | 0 |
| "One that wishes them well," to help them to have an iron roof for their new chapel at Jiwai | | | | 5 | 0 | 0 |
| Trwy law E. Jones, Ysw., Gwredog, tuag at ail adeiladu yr Ysgoldŷ yn Shillong:— | | | | | | |
| H. G. | 5 | 0 | 0 | | | |
| Mr. Elias Jones, Gwredog | 1 | 5 | 0 | | | |
| Miss Jones, eto | 1 | 0 | 0 | | | |
| Mrs. Hughes, Tŷ Coch | 1 | 0 | 0 | | | |
| Miss Judd | 0 | 10 | 0 | | | |
| Mr. C. E. Jones | 0 | 10 | 0 | | | |
| Mr. E. Morgan Jones | 0 | 10 | 0 | | | |
| Mrs. Hughes, Brynteg | 0 | 5 | 0— | 10 | 0 | 0 |
| Miss Winifred Ann Humphreys, Bwlch-ygle, Llanidloes, casgliad | | | | 1 | 0 | 0 |
| "A Friend of the cause in Khasia, from Abergele" tuag at y tô haiarn i gapel Jiwai | 5 | 0 | 0 | | | |
| I'w defnyddio gan Dr. Griffiths, Mawphlang | 5 | 0 | 0— | 10 | 0 | 0 |
| Penuel, Ebbw Vale, Casgliad y Plant | | | | 0 | 8 | 3 |
| Oddiwrth Mrs. E. W. Jones, Portsmouth, Ohio, T. U.,—Rhan o gymunrodd ail wraig y Parch. Edward Jones, Portsmouth, i'r Genadaeth | | | | 31 | 0 | 0 |

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 623.] MEDI, 1882. [LLYFR LII.

## CYNNYDD A DADBLYGIAD YR EGLWYS.

GAN Y PARCH. T. J. WHELDON, B.A.*

YN y bedwaredd bennod o'i lythyr at yr Ephesiaid, a'r bedwaredd adnod ar bymtheg, dywed yr Apostol Paul fod yr eglwys o Grist yn adeiladu ei hunan mewn cariad, gan gael ei chydymgynnull a'i chydgysylltu; geiriau, yn ol un o reolau syml yr iaith, yn rhinwedd eu *hamseriad*, sydd yn dangos fod y gwaith a ddynodir ganddynt yn myned ymlaen yn barhâus, tra y byddo y cynnydd a'r adeiladu yn cael ei weithredu.

Er fod Meyer yn gwrthwynebu, eto credwn fod Bengel, gyda'r gallu oedd ynddo i ddwyn i eglurder y gwahaniaeth cydrhwng geiriau cyfystyr, yn esbonio ystyron y ddau air, sef fod y "cydymgynnull" yn dynodi "yr holl ranau yn cael eu cywir gyfaddasu i'w gilydd, bob un yn ei le penodol ei hun ac yn eu perthynas â'u gilydd," a'r "cydgysylltu" yn dynodi, "ffurfhâd a chadarnhâd y corff." Y naill a ddengys gydffurfiad, a'r llall faintioli, addfedrwydd, a nerth y corff. Cynnydd bywydol ydyw, ac felly y mae y rhanau yn tarddu o fywyd y cyfan. Y mae pob cangen yn dwyn ffurf y pren i'r golwg; ond fel yr eglurir y ffurf y mae maintioli y pren a'i nerth yn derbyn ychwanegiad yr un modd. Felly yma, fel ag y mae yr eglwys yn cynnyddu, y mae ei ffurf hefyd yn ymddangos gyda mwy o eglurder. Y mae pob corff byw yn cynnyddu, trwyddo ei hun a'r byd oddiamgylch iddo. Ynddo ei hunan y gorwedd y gallu sydd i roddi ei ffurf a'i nodwedd iddo Ymdrech cyntaf bywyd ydyw eglurhâu ei hunan mewn corff cyflawn, ag sydd yn ddangosiad o hono ac yn gartrefle iddo; ymagora yn ol ei natur, a chyfnewidia ei hunan o anghenrheidrwydd ei ymberffeithiad. Rhaid i bob dylanwad ysbrydol sydd i fyw yn awyrgylch ein daear ni wneuthur iddo ei hunan gorff; ac os yn gyfaddas i'w amgylchiadau, adeilada ei deml ei hunan yn ddystaw o hono ei hunan, heb sŵn morthwylion i'w glywed arni. Y mae y dymuniad yn reddfol mewn dyn i gorffori pob grym ysbrydol mewn rhywbeth a welir ac a deimlir. Trwy hyn y mae'r gallu ysbrydol yn cael ei ymagoriad a'i ogoniant, a thrwy hyn yr ysbrydolir ein daear, ac y llyncir yr hyn sydd farwol gan fywyd. "Soul is form, and doth the body make," meddai Spenser. Cynnwysa egwyddor ei gorff ynddo ei hunan; a thrwy weithrediad y bywyd yn ymagor y mae ffurf y corff yn dyfod yn amlwg. Eto rhaid iddo fod yn gyfaddas i'r oes a'r lle y mae ynddo, er iddo allu cynnyddu. Y mae i feddiannu yr hyn sydd o'i amgylch, ac i'w drawsffurfio trwy ei nerth i fod yn rhan o hono ei hun. Anadl yr Hollalluog ydyw yr ysbryd; pridd y ddaear ydyw y corff, o ran ei ddefnydd; enaid byw ydyw y dyn trwy eu hundeb. Wrth edrych arno yn ei gymesuredd, gyda'r holl ranau yn cydgordio â'u gilydd, y mae ei harddwch yn ymddangos. Wrth edrych arno yn ei gysylltiad â'r byd, y mae ei rym a'i ddefnyddoldeb yn ymddangos.

Y mae harddwch a defnyddioldeb yn cyd-dyfu; y maent yn wahanol, ond mewn bywyd nis gellir eu gwahanu. Dwy gangen yn tyfu ar un cyff ydynt. Edrycha ambell i feddwl ar y nerth a'r

* Y mae'r traethawd hwn wedi ei ysgrifenu gan yr awdwr yn llawer helaethach nag fel ei traddodwyd fel araeth yn y Cyfarfod Ordeinio yn Nghymdeithasfa Llangefni, Mehefin 29, 1882.

defnyddioldeb sydd yn cael ei amlygu mewn natur, ac edrycha un arall ar yr harddwch yn unig; eto y mae'r ddau gyda'u gilydd. Pob gwirionedd,—rhaid iddo fod yn ddefnyddiol ac yn hardd. Os yw wir, y mae yn ffrwythlawn; ac os yw wir, y mae yn hardd. Y ddwy egwyddor yma a ymddengys yn eglwys Crist; ynddi ei hunan y mae yn hardd, yn ei pherthynas â'r byd v mae yn rymus ac yn ffwythlawn. Fel y cynnydda yn ei chymesuredd, cynnydda yn ei nerth. Pan y bydd yn deg fel y lleuad, ac yn bur fel yr haul, bydd hefyd yn ofnadwy fel llu banerog. Y mae ei Harglwydd yn ei gosod iddo ei hun, yn llwybr ei gynghor a'i ras, yn offeryn perffaith i'w ewyllys: iddo ei hun yn gysegredig fel eglwys "heb arni na brycheuyn na chrychni, na dim o'r cyfryw;"—heb un brycheuyn ar ei gwisg, na chrychni ar ei grudd, mewn glendid ac mewn ieuenctyd tragywyddol. Pan y bydd yn berffaith hardd, bydd yn berffaith yn ei hamcan a'i grym; a pho agosaf at berffeithrwydd y byddo mewn harddwch, y mae ei nerth yn cryfhâu yn gyfatebol.

Gallwn gymeryd y geiriau er sylwi ar ein Cyfundeb ein hunain yn eu goleuni. Y mae yn nerthol weithrediad yr Ysbryd yn yr oes Apostolaidd y fath gyfoeth o wirioneddau, fel ag y mae yn rhaid cael goruchwyliaeth i'w dwyn allan i amlygrwydd yn mhrofiad yr eglwys. Ni roddwyd i'r un oes, nac i'r un eglwys hanesyddol, ond rhanau o'i gyfoeth i'w ddangos. Nid yw canrifoedd ond darnau o'r cyfan a ddadguddir yn ngoruchwyliaeth yr oesoedd. Daw digon i gyfoethogi oes mewn llestr bychan i'r glânau, pryd ag y gorwedda y llestr fawr sydd yn cynnwys yr oll, draw allan o'r golwg. Y mae ein digonolrwydd ni yn y rhan a roddwyd i ni o'r gwirionedd. Y fath hefyd ydyw yr amrywiaeth doniau yn yr eglwys Apostolaidd, fel ag y mae pob rhan o'r eglwys yn gweled yr eginyn o ba un y tarddasant hwy yn yr eglwys gyntefig. Pe credem fod y Testament Newydd yn dysgu rhyw ffurf neillduol i eglwys Crist, aem yn berffaith hyderus at y gyfraith ac at y dystiolaeth gyda ffurf allanol ein Cyfundeb. Os yw neb yn teimlo eu bod hwy yn Apostolaidd, nyni yn hytrach; ac os ymddiried neb yn eu ffurflywodraeth ei bod yn ysgrythyrol, nyni yn ddibetrus yn fwy. Eto tra yn credu fod Crist a'r Ysbryd mewn modd rhyfeddol yn gosod y sail i lawr yn yr oes Apostolaidd, credwn ni fod yr un Crist a'i Ysbryd yn bresennol er arweiniad ei eglwys ymhob oes. Y mae cyfnewid mor hanfodol iddi ag ydyw anghyfnewidioldeb, ond credwn mai sylfaen y cyfnewidiol ydyw y digyfnewid. Y mae yr Un ddoe a heddyw ac yn dragywydd yn cyfnewid yr eglwys, ac yn manteisio ar y cyfnewidiadau i'w gyfoeth ei hunan gael ei amlygu. Y mae yma symudiad a mynediad ymlaen yn gorphwys ar sefydlogrwydd ac anghyfnewidioldeb. Y mae Duw y Crëwr heb gysgod tröedigaeth iddo, ac eto y mae ei holl greadigaeth yn symud ac yn cyfnewid. Yr un modd y mae Pen yr eglwys byth yr un, ac, am ei fod felly, yn ei chyfnewid hi yn wastadol.

Er dwyn ei eglwys i fod, rhôdd Crist ydyw dynion. Yr Arglwydd Crist, "yr hwn a ddisgynodd, yw yr hwn a esgynodd, fel y llanwai bob peth." Y mae yn ei haeddiant yn meddu hawl i'w deyrnas; yn nghyfiawnder y Brenin y mae sail ei lywodraeth. Efe gan hyny a dderbyniodd roddion *mewn* dynion, ac felly a roddes roddion *i* ddynion. Nid y dynion heb y gallu, y gras, neu y swydd, eithr y ddau yn un, a dderbyniodd ac a roddes efe. Efe a roddes apostolion, efengylwyr, bugeiliaid, ac athrawon. Y mae yn eu hanfon gydag awdurdod y gair "Ewch." Gan bwyso ar ei groes, gwyneba yr holl fyd, ac enfyn ei weision gyda chyffelyb awdurdod ag y llefara y gair wrth yr anufudd y dydd diweddaf. Gyda'r awdurdod yn y gorchymyn, yr hwn a deimlant yn eu hysbrydoedd yn eu hanfon i'w gwaith, cânt addewid sydd fwy nag addewid, yn osodiad, yn nerth parhâus: "Yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd." Lle y mae y gair a'r ordinhâdau, yno y mae Crist; nid yno y bydd efe, eithr yno yn wastad y mae efe. Nid ydyw ei bresennoldeb yn dibynu ar deimladau, neu raddau isel neu uchel yn eu crediniaeth hwy. Lle y mae ufudd-dod i'r gair "Ewch," yno y mae awdurdod Crist yn barnu, argyhoeddi, rhwymo, a rhyddhâu, yn cael ei gweithredu. Gallwn bwyso ar ei bresennoldeb ef, a gofyn iddo anfon yr Ysbryd fwyfwy gyda ni, canys y mae yr Ysbryd ynddo. I

ddwyn ei eglwys i amlygrwydd y mae yn rhoddi *dynion*, gan osod ei awdurdod ynddynt. Y mae hanesiaeth yn ein dysgu fod parotoad ar gyfer â diwygiadau mawrion yn cael eu dwyn ymlaen yn yr eglwys a'r byd cyn i'w nerthoedd ymddangos. Y mae rhai yn ymddangos o du yr eglwys, ac yn llafurio gyda graddau bychain o lwyddiant. Nid ydyw diffyg llwyddiant yn brawf nad ydyw y gwaith yn gymeradwy, nac ychwaith o hono ei hun yn brawf fod diffyg yn y dull y dygir y gwaith ymlaen. Ni ddaeth yr amser eto, gan fod yr Hwn sydd yn cyfaddasu yr eglwys i'r byd, yn cyfaddasu y byd i'r eglwys; a phan y cyferfydd y ddwy ffrŵd, y mae y gweithrediadau nerthol yn cael eu teimlo. "Mewn ffydd y bu feirw y rhai hyn oll, heb dderbyn yr addewidion," ond gan eu cyfarch o bell, ac ymlawenychu yn sŵn buddugoliaeth o draw. Er na welant hwy y llwyddiant yn ffaith, eto bydd yr achos yn byw; ac yn ei lwyddiant ef, llwyddant hwythau; anadlant eu bywyd iddo, a byddant feirw mewn ffydd y perffeithir hwy yn eu hundeb â'r rhai a ddeuant ar ol.

Y mae Crist yn Arglwydd ar y byd hefyd, ac yn dwyn "cyflawnder yr amser" o amgylch ynddo yntau. Y mae yn brofiad cyffredin ar faes cenadol yr eglwys, fod y cenedloedd yn eu dygn dywyllwch dan ei arweiniad ef, ac os llwyddir, yn myned dan ryw barotoad. Y mae yr "amserau a'r prydiau" yn nghadwraeth y Tad. Gall yr *amseroedd* ymestyn dros ganrifoedd, pryd y bydd y cwmwl megys yn aros, cyn i un o'r "prydiau" gymeryd lle, y rhai a roddant fod i gyfnodau, y cymmalau, mewn amser; yr adenedigaeth, y cywain i ysguboriau yn ysbrydol, y pwyntiau mewn hanesiaeth, trwy ba rai y mae yn cael eu bôd, y rhai sydd yn nghadw gan y Tad—ffynnonell yr oll. Gweddus i ni gan hyny gofio fod y cyfranu yn yr eglwys o hono ef, a'r derbyniad gan y byd o hono hefyd, fel nad yw diffyg llwyddiant mawr yn wastad yn brawf o ddiffyg ysbrydolrwydd nac o annoethineb yn y moddion. Yr oedd arwyddion yn ymddangos yn Nghymru cyn i'r Arglwydd roddi y Tadau Methodistaidd, fod Duw am ymweled â ni; a gallwn ni gan edrych yn ol weled diwygwyr o flaen y diwygiad. Ond pan ddaeth y cyflawnder sydd yn perthyn i'r amser, y mae Duw yn rhoddi y dynion i'r gwaith.

Y mae pwys mawr yn ein hoes ni ar liosogrwydd ymhob cylch, a mawr yw y daioni a ddeillia oddiwrth hyn, ac yn arbenig trwy ëangu maes dylanwad personau unigol. Y mae dylanwadau mawr y byd yn gweithio o un pwynt, ac yn ymledaenu i'r amgylchedd; y cyfeiriad ydyw o'r unigol i'r llïaws. Personau unigol sydd yn geni gwlad, a llïaws ei phobl sydd megys corff i'w hysbryd hwynt, a chynnud i'w tân. Gwir fawrion gwlad ydyw y rhai sydd yn ffurfio cymeriad ei meibion. Nid dynion poblogaidd ydynt, eithr i'r gwrthwyneb, arfer y byd gyda'i oreugwyr ydyw eu herlid, eu lladd, eu croeshoelio, a hyny am nad ydyw yn deilwng o honynt. Mewn adegau pan ag y cyll hen sefydliadau eu grym, ac y bydd y bronau a roisant sugn wedi myned yn hysp—y trefniadau oeddynt unwaith yn llwybr bywyd yn awr yn rhwymau angeu, y goleuni wedi troi yn dywyllwch—yna y mae awr yr adenedigaeth; ond nid i'r llïaws y daw. Cyfyd Duw ei etholedig, geilw ef gyda grym gwirionedd o'i fewn. Y mae yn ei osod mewn dyoddefaint meddwl mawr i gychwyn. Yn y ffwrn hon y mae ei rwymau yn cael eu llosgi, ac yntau yn myned yn rhydd oddiwrth ei wlad, ei genedl, ei dylwyth, ac yn sefyll mewn unigrwydd—unigrwydd a grëwyd gan nerth ei argyhoeddiad. Y mae yn llefaru am ei fod yn credu; nid am ei fod yn dymuno llefaru, eithr am fod anghenrheidrwydd arno; rhydd ei grediniaeth rym iddo er argyhoeddiad i eraill; dechreua gyfnewid ei oes, a gesyd i lawr sail i hanesiaeth. "Ffolineb pregethu" ydyw ei arf. Dylanwad personol ydyw gwreiddyn dyfnaf bywyd yn ein daear. Y mae gwirionedd ei hunan yn gryf, ond yn llawer cryfach mewn ysbryd personol yn gwynebu un arall. Ar hyn y mae Crist yn arbenig wedi gosod llwyddiant ei deyrnas. Y mae galluoedd eraill yn gynnorthwywyr mawrion; eto ffolineb pregethu, dylanwad un person yn meddiant y gwirionedd ar berson arall, ydyw y prif foddion. Efe a ddyrchafodd i'r uchelder ac a roddes Harries a Rowlands, a'u cydweithwyr, i Gymru, ac yn benaf i ni fel Cyfundeb er ein dwyn i fod. Ei roddion mawr oeddynt, a thrwy-

ddynt hwy y mae rhoddion eraill wedi dyfod.

Wedi rhoddi i unrhyw sefydliad neu eglwys ei bôd, y mae efe yn rhoddi dynion i'w harwain ymlaen — dynion yn awr wedi eu magu yn mynwes yr eglwys, ac felly yn etifeddion y tadau a aethant o'r blaen, ac hefyd yn teimlo y dyfodol yn pwyso arnynt, sŵn y blynyddoedd a ddaw yn tori ar eu clustiau, fel ag i gyfaddasu eu heglwys i wynebu yr anhawsderau, ac i gymeryd gafael yn y manteision er sicrhâu llwyddiant y corff y perthynant iddo. Pe torent eu cysylltiad â'r tadau o'u blaen, byddent yn ddinystrwyr i'w Cyfundeb; a phe y cadwent at yr etifeddiaeth a roddwyd iddynt yn unig, buan y gwelid eu bod wrth anwylo yr hen yn anwylo y marw. Efe a all eu rhoddi yn wastad i ni, gan eu bod ganddo. Os bydd i angeu eu cymeryd ymaith, o hono ef, ac yn mynwes ein heglwys rhoddir iddi eraill; a phe y torid hwynt oll i lawr megys cynauaf, cyfodai yr adladd drachefn yn doreithiog. "Ac wele, adladd wedi lladd gwair y brenin oedd." Pan yn pwyso ar sefydliadau ac ordinhadau, y dawn mawr nas gallwn fyw hebddo ydyw dynion.

Dangosir i ni drachefn mai cariad ydyw yr awyrgylch ysbrydol y cymer y cynnydd le ynddo. Pan y mae cyfaddasder yn y planigion i'r tir, rhaid er hyny wrth wrês er i'r cynnydd gymeryd lle. Cariad yn y Tad ydyw gwreiddyn yr iachawdwriaeth, cariad yn y Mab a'i hamlygodd, a chariad yr Ysbryd a'i perffeithia; felly hefyd yr un cariad yn y gweision a adeilada yr eglwys: "gan adeiladu ei hun mewn cariad." Y cariad hwn oedd yn y tadau yn eu darostwng i wasanaethu eu gwlad yn yr Arglwydd. Yr oeddynt yn uwch mewn dysgeidiaeth a chwaeth na'r rhai y llafurient er eu mwyn; ond nid oedd y gwahaniaeth ond yn gwneuthur eu gwasanaeth yn fwy effeithiol. Y mae ein hoes ni yn oes o gynnydd anghyffredin mewn cyfoeth, ac yn debyg o barhau; y mae ei dysgeidiaeth yn ymëangu, ac yn arwyddo myned yn fwy felly. Pe bwriai yr eglwys oddiwrthi y ddau allu hyn, ni byddai yn gyfaddas i'w hoes. Rhaid iddi ddaro-twng ei chyfoeth a i dysgeidiaeth i'w hamcanion ei hunan. Eto y mae yma berygl, rhag i gyffyrddiad â'r diddysg a'r anwybodus fyned yn faich, ac i eglwysi gau allan o honynt eu hunain y tlodion. Tuedda diwylliant yn unig i wneuthur cymdeithas yn ddosbarthiadau, ac i wahanu dyn oddiwrth ei gyd-ddyn. I wrthwynebu hyn y mae cariad yn eisieu, yr hwn sydd yn cynnwys ynddo wirionedd a buchedd, goleuni a gwrês. Dywedir i ni am Justin Ferthyr cyn ei dröedigaeth, ei fod yn rhodio mewn neillduedd, pan y cyfarfyddodd â hynafgwr, wrth yr hwn y dywedai ei fod yn caru neillduaeth er mwyn mwynhâu ei fyfyrdodau ei hunan, a bod cymdeithasu â'r lliaws pobl yn faich iddo. "Yr ydych chwi felly," atebai yr hynafgwr, "yn caru gwybodaeth yn unig, ac nid rhinwedd a daioni. Nid ydych ond doethwr; eich diffyg ydyw peidio a gweithredu." Aeth y saeth adref, ac argyhoeddwyd ef. Y mae yn rhaid i'r eglwys gael ei gwaith i'w dysgu gyda'i llyfr. Cyn y diwygiad Methodistaidd, yr oedd yr holl enwadau crefyddol wedi gwanhâu, ac yn araf ddarfod. Yr oeddynt wedi bod megys llosgfynyddoedd yn crynu y ddaear, ond erbyn hyny wedi dystewi, ac nid oedd ynddynt ddigon o dân i alw sylw atynt eu hunain. Trwy golli eu cariad at y byd, collasant eu nôd a'u hamcan. Yr oedd yr Henaduriaethwyr yn engraifft nodedig o hyny. Nid oedd ganddynt ond syniad am gadw y tir oedd ganddynt, gan ddymuno rhyw ddadleuon ailraddol, a chwaeth feddyliol. Collasant gariad Crist, a chydag ef yr olwg ar drueni'r byd, a chyda hyny burdeb yr athrawiaeth. Buasai cariad at eneidiau yn cadw eu hathrawiaeth rhag llygru, gan fod adnabod trueni y byd yn cynnorthwyo i adnabod y gwirioneddau ar gyfer y trueni hwnw. Y mae y galon yn goleuo y farn, a'r llaw sydd gyda'r gwaith trwy brofiad yn cyfarwyddo y llygaid. Pe byddai diffyg yn y farn, y mae cariad cryf am achubiaeth y byd yn rhwystro ei nerth i ymddangos. Y mae cyffyrddiad agos ac ymwneyd parhâus â thrueni y byd yn anghenrheidiol er cywirdeb barn ac anrhydedd buchedd. Y mae cael ein bedyddio â chariad a chydymdeimlad Crist tuag at ddynion yn golchi ymaith ein balchder a'n hunanoldeb, ac yn ein cryfhâu mewn hunanymwadiad a defnyddioldeb. Cymylir yr athrawiaeth pan y collir y gwaith. Dymuniad i

achub yr holl fyd a gadwodd y gwirionedd yn yr oes Apostolaidd; ac ymhlith y colofnau, yr apostol Paul, yr hwn a lafuriodd yn helaethach na hwynt oll, a nerthwyd yn ei waith i ddal ei afael yn gadarn yn yr athrawiaeth. Os dymuna eglwys orchfygu'r byd, yr arfau i'w llaw yn y Gair ydyw y gwirioneddau symlaf, ond dyfnaf—anhawddaf eu deall eithr hawsaf i'w credu—a'r rhai mwyaf cyfaddas i'w gwaith ydyw y rhai mwyaf cyfaddas i'w hadeiladaeth ei hunan. I gysuro y galarus ac i gyffroi yr aflan, i symud beichiau ac i iachâu briwiau, i'r syml ei feddwl a'r caled ei fyd, ynghyd a'r ofer a'r afradlawn, rhaid cael yr olew a'r gwin. I bregethu yr efengyl i'r trueiniaid a'r tlodion y mae yr efengyl wedi ei rhoddi. Y tlodion ydyw gwir geidwaid yr athrawiaeth, a thrueiniaid gwlad yw amddiffynwyr y ffydd. Er ei mwyn ei hun dylai yr eglwys fod ganddi y tlodion gyda hi bob amser; canys os collir hwy o'i chynnulleidfa, collir hwy o'r gwaith. Y mae aml eglwys yn synu wrth ddyfod i wybod am y trueni sydd o'i hamgylch, ac yn gwneuthur rhyw ddarpariadau egwan oddiallan i gylch ei gwasanaeth ei hunan er eu gwellhâu. Dylai pob eglwys gynnwys pob rhan o gymdeithas yn ei bro. Rhodder i ni yn ein cymdeithasau fod y tlawd yn dyfod o fythynod ein gwlad gyda'r rhai sydd yn uwch na hwynt mewn cymdeithas i blygu o flaen yr un Duw, ac i'r aflan ei fuchedd, eithr wedi ei olchi, fod gyda'r hwn nad halogwyd erioed gan halogedigaeth buchedd, yn cydfwyta o'r un bara ac yfed o'r un gwin, gan lawenychu ynghyd. Os bydd unrhyw un o'n plith ein hunain neu oddiallan yn ammheu ai hon yw yr eglwys ai nad ê, gan ofyn, "Ai ti yw yr un oedd i ddyfod" yn ol yr addewid, "ai eglwys arall yr ydym eto i'w dysgwyl?" rhodder i ni allu dal y prawf a roddodd y Pen o'i Ddwyfol antoniad Ef, yr hwn a roddir hefyd i'w ganlynwyr: "Y mae'r cleifion gwahanol wedi eu hiachâu, y mae y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu iddynt yr efengyl." Y cariad hwn oddiuchod a ddengys i ni pa beth yw y gwirionedd, ac a etyb i ni y gofyniad, "Pwy yw fy nghymydog?" ac felly roddi i ni y gwirionedd mewn barn ac athrawiaeth, a'r gwirionedd mewn bywyd i'w wneuthur, fel ffrwyth.

Rhoddodd Duw i ni ddynion, a'r dynion hyny yn gweithredu "mewn cariad," y rhai a fuont offerynau yn ei law i gynnyrchu ein Cyfundeb ymhlith canghenau eraill eglwys gyffredinol Crist, y rhai y mae ef yn eu rhoddi o hono ei hunan fel y treigla amser. Dywed rhai seryddwyr i ni mai yr haul ydyw tad ei gyfundrefn, megys hefyd ei rheolwr; mai o hono ef y daeth y planedau i fod, ac i araf symud i'w lle eu hunain yn y gyfundrefn yn ol y deddfau ag oedd yn eu cyfaddasu i'w lle. Y planedau hwythau a gawsant eu lleuadau yr un modd, o honynt eu hunain. Y mae ein daear wedi rhoddi bod i'r lloer, ac yn llywodraethu ei gwasanaeth, fel ag y mae yr holl ëang gyfundrefn yn gyffelyb i deulu unwaith wedi hanu o'r haul, yn awr yn troi yn wasanaethgar i'w ewyllys, heb arafu na brysio. O Grist, Pen yr eglwys, y mae eglwysi neillduol yn cael eu bôd, gan darddu gydag amser yn ei gyfnewidiadau y naill ar ol y llall o hono ef, trwy roddi neillduolrwydd iddynt gan ddylanwadau naturiol cenedl, iaith ac oes. Ymhlith y sêr sydd o hono ef, ac i amgylchu ei orseddfainc, daeth ein Cyfundeb bychan ni i'r golwg tua chanol y ganrif diweddaf.

Er mwyn nerth i weithredu ar gymdeithas yr oedd y bywyd ysbrydol a roddwyd trwy weinidogaeth Harries a Rowlands yn gofyn am gorff, am ffurf allanol, fel ag y byddai iddo orchfygu a meddiannu Cymru iddo ei hun. Yr oedd y trefniadau hyny yn tarddu o egwyddorion ysbrydol y bywyd; ond yr oedd eu ffurf allanol yn cael ei dylanwadu gan amgylchiadau, gan fod yn rhaid i'r ffurf fod yn gyfaddas i'r gwaith oedd i'w wneuthur trwy y ffurf. Fel y tarddai y trefniadau o'r diwygiad ei hunan, yr oedd rhyddid pur ynddo, fel y gwynebai ar yr amgylchiadau yr oedd anghenrheidrwydd yn ei gyfarfod; ac effaith y ddau hyn yn gweithredu ar eu gilydd ydyw hanes dyn. Y cydgyfarfyddiad hwn o ryddid a rhwymau a ffurfiodd ein Cyfundeb. Yn yr oes Apostolaidd yr oedd yr eglwys yn gweithredu yn rhydd yn ol ei hanghenion; ewyllys ei Harglwydd, fel y dangosid hi yn y dymuniadau am foddion i'w chyfaddasu i'w gwaith, oedd ei llyw; ac eto y mae perthynas agos rhwng y trefniadau ac ysbryd y wlad a'r oes; a chan mai ar y ddaear yr oedd, nis gallai

ond bod, er yn nefol, yn ddaearol hefyd. Yr oedd Crist yn eiddo yr holl fyd, ac eto yr oedd hefyd yn ddyn i'w oes a'i wlad, ac yn Iuddew. Wrth ddal y cyffredinol a'r tragywyddol, ni raid i ni wadu y neillduol a'r amserol. Ymhlith yr Iuddewon, fel yr ymagorai bywyd eglwys Crist yn eglwys weledig er nerth a gwasanaeth ei Harglwydd, yr oedd perthynas amlwg iawn cydrhwng ffurf yr eglwys â sefydliadau cenedlaethol ymysg yr Iuddewon, ac yn arbenig y synagog. Pan ffurfiai yr eglwys iddi ei hunan gorff ymhlith y Cenedloedd, er ei fod o ran ei egwyddorion yn gywir yr un a'r unrhyw âg yn Jerusalem, eto yr oedd peth gwahaniaeth yn codi, am ei bod ymysg y Cenedloedd yn gyfaddas i ac yn derbyn dylanwad oddiwrth ffurfiau cymdeithasol yr oes. Eto yr oedd yn gweithredu yn rhydd er cyflenwi ei hanghenion. Ymhob lle y sefydlid yr eglwysi, daw swyddogaeth i'r golwg; penodid efengylwyr ac athrawon. Y mae yr hanes yn ein dysgu mai am bob cam a roddai yr eglwys ymlaen yn ei ffurf allanol, fod cynnydd mawr yn cael ei roddi iddi o'r byd.

Yn ein Cyfundeb ninnau y mae y ffurf ar y cyntaf yn syml. Am fod yr afon yn agos i'r ffynnon, y mae ei dyfroedd yn fychain a glân. Y lân eglwys ydoedd i fod; argyhoeddiad o bechod, a graddau o brofiad o ras Duw, ydoedd y drws i mewn iddi. Grym y weinidogaeth a effeithiai hyn. Gyda ni y mae anhawsder yn codi o herwydd cynnydd yr eglwys nad oedd yn nyddiau ein tadau. Yn awr rhaid uno magwraeth a dysgeidiaeth gyda'r weinidogaeth er cadw yr eglwys yn "lân," gan fod nifer mawr o had yr eglwys yn cyfodi i fyny oddimewn iddi. Y mae hyn yn gofyn am waith mwy manwl a gwyliadwriaeth ddyfalach er cadw ein heglwys yn lân.

Wedi eu dwyn trwy ras i undeb â Christ, y maent yn naturiol yn dymuno cymdeithas eu gilydd. Y mae undeb â'i gyd-ddyn yn hanfodol angenrheidiol i ddyn wrth natur; ymffurfia yn deuluoedd, cenedloedd, gwladwriaethau, a chymdeithasau yn ol ei reddf. Y mae ei ddiwylliant a'i gynnydd yn bersonol yn dibynu ar gymdeithas. Nid er cysur a diogelwch iddo yn unig, ond er sylweddoli ei *fôd*, y dywedir mai "nid da bod dyn ei hunan." Y mae y "da" hwn yn cynnwys ei holl gynnydd, yn ysbrydol, moesol, a naturiol. Nid crefydd unigol ydyw un bersonol. Y mae bôd y saint o Dduw trwy offerynoliaeth yr eglwys, ac y mae eu cynnydd mewn gras yn gofyn am gymdeithas, lle y cryfheir eu hargyhoeddiadau, y cynhesa eu zêl, y marweiddir eu llygredd, ac y bywheir eu holl rasau. Y mae Crist wedi rhoddi addewid i'w eglwys, a mwy nag addewid, pan ddywed, "Os cydsynia dau o honoch ar y ddaear am ddim oll, beth bynag a'r a ofynant, efe a wneir iddynt gan fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd. Canys lle mae dau neu dri wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." Nid addewid ydyw er cysur i ychydig, os na bydd nifer mawr, ond addewid i eglwys, a chymundeb y saint. Rhaid fod dau neu dri; ac yn eu hundeb a'u cymdeithas fel rhai gyda'u gilydd yn enw Crist, gan gredu ynddo a'i gyffesu, y mae Crist yn ei awdurdod a'i ras yn bresennol. Trwy eu cymdeithas â'u gilydd bydd cymundeb â'r Pen yn bosibl. Lle y mae eglwys, mae presenoldeb yr Arglwydd Iesu yn sicr, a'r Ysbryd mewn addewid.

Yn herwydd y reddf ysbrydol sydd yn dysgu hyn, y mae y credinwyr yn gafael yn eu braint o gymundeb, a'r byd, gan wybod yntau hefyd, mai yn eu cynnulliad y mae eu cryfder, a esyd ei law mewn erlidigaethau ar eu cydgynnulliad. Caent lonydd mewn unigrwydd, ond felly nis gallant fod: gwell ganddynt farw na'u gwasgaru. Heb y fraint hon y mae y cewri yn myned yn weiniaid; gyda hi y mae y rhai gwanaf ac eiddilaf yn gewri. Elias, pan yn credu ei fod wedi ei adael yn unig, heb gymundeb gyda'i gyd-brophwydi, na chyda'r saint, a aeth yn wan o flaen bygythion y frenines. Er ei galonogi, dywedai Duw wrtho fod ganddo saith mil o rai oeddynt heb blygu y glin i'r eilundduw; ac felly gallai anturio yn ol i Ganaan i chwilio am y saint, ac i dynu nerth oddiwrthynt cystal a'i roddi iddynt. Y mae eneidiau mawrion ar dir a môr yn sicr o ddyfod o hyd i'w gilydd.

Yn rhinwedd y reddf ysbrydol hon, yr oedd y dychweledigion trwy weinidogaeth y tadau yn cydgyfarfod â'u gilydd o dan eu harweiniad, er maeth, profiad, dysgeidiaeth, a chynghor. Y

mae y profiad yn bwysig, ond nid i fod yn unig; y mae dysgeidiaeth ac addoliad i fod yn y cymdeithasau neillduol; a cham â'r cyfarfodydd ydyw eu rhoddi i un amcan yn unig.

Yma y mae pob un yn ymddarostwng i'w gilydd, megys hefyd i'r Arglwydd. Pan ag y mae gan bob un berffaith ryddid i'w farn ei hunan, ac ynddo ei hun hawl hefyd i weithredu neu lefaru yn ei hôl, y mae deddf cariad, tangnefedd, ac adeiladaeth yr holl frawdoliaeth yn rhoddi terfyn ar ei ryddid personol ef ei hunan. Nid oes gan y lliaws hawl i orfodi ei farn ef, ac nid oes ganddo yntau bellach hawl i'w weithrediad annibynol ei hun. Nid oes ryddid heb rwymau. Yr ydym yn rhwym yn ein perthynas â'n gilydd yn gymdeithasol, gan nas gallwn ddewis ein rhieni, ein gwlad, ein sefyllfa; y mae dylanwadau cryfaf ein bywyd, a'r ffurf allanol sydd arno, er pob rhyddid personol, y tu allan i gylch ein hewyllys ni. Pe dymunem fod ar ein penau ein hunain, nis gallem. Nid yw llywodraeth ond cadw rhyddid pawb trwy derfynu rhyddid pob un; rhyddid mewn rhwymau ydyw. Perffeithrwydd hyn ydyw yr ysbryd trwy yr hwn y collir yr hen ryddid o'r golwg, ag y bydd y rhwymau yn anian ac yn hyfrydwch. Y mae yr eglwys, yr un modd a chymdeithas, yn sylfaenedig ar y ddeddf foesol. Cyfiawnder ydyw sail pob cydymaros a chydweithrediad. Y mae rhanau o'r eglwys wedi bod yn rhoddi pwys ar y gorchymyn cyntaf yn unig, yr hyn a roddes fôd i lawer o sectau llawn zêl a brwdfrydedd, y rhai a barchent Dduw trwy fathru dyn, ac er pob son am gyfiawnder a chydwybod i Dduw a ddarfyddent mewn anghyfiawnder; *meteors* yn llawn tân ar rai prydiau yn hanes yr eglwys, ond yn llosgi eu hunain o fôd ac yn darfod, gan adael caddug ac ychydig lludw ar ol. Y mae esiamplau eraill o rai yn rhoddi y pwys oll ar yr ail orchymyn, gan osod rhwymedigaethau i ddynion, neu i'r eglwys weledig, fel yr oll o grefydd. Y gorchymyn cyntaf ydyw, "Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, â'th holl enaid, â'th holl feddwl, ac â'th holl nerth." Yr ydym i arfer cydwybod i Dduw, ond nid fel ag i anghofio yr ail orchymyn, "Car dy gymydog fel ti dy hun." Y mae ein rhwymedigaethau i'n gilydd yn cael eu gosod wrth ochr ein rhwymedigaethau i Dduw. Y cyntaf ydyw y sail, ond sail yn unig ydyw heb gael hefyd yr ail. Ar y ddau y mae yr Ysgrythyrau yn crogi; ar y ddau y mae eglwys Crist yn sylfaenedig. Wrth ddysgu y naill heb y llall, neu y naill fel ag i guddio y llall, "yn nhir uniondeb y gwna ar gam." Er eu hadeiladaeth eu hunain, ac er gorchfygu y wlad oddiamgylch iddynt, yr oedd y saint yn nechreuad ein Cyfundeb yn ffurfio yn eglwysi, "mewn cariad."

Yn ol yr un tueddfryd, yn gweithredu yr un mor rhydd, ymgasglai y gweinidogion a'r efengylwyr at eu gilydd, er cydymgynghoriad, cydweithrediad, ac adeiladaeth eu gilydd. Y mae unigrwydd yn tueddu i beri i un roddi gormod o bwys ar ei farn ei hun a'i amcanion; eithr y mae cymdeithas â'i frodyr yn cywiro ei farn ac yn dangos iddo ei le. Os yn tueddu i fod yn hunanol, y mae efe yn awr yn gweled ei wyneb naturiol mewn drych, ac nid yw yn anghofio ar unwaith pa fath un ydoedd. Yn eraill y mae unigrwydd yn tueddu i ddigalondid, ac i ymollwng i fod yn ddiwaith a di-ffydd; ond wele efe yn cael ei galonogi yn ei frodyr, ac yn gweled os yw ynddo ei hun yn wan, ei fod ynddynt hwy yn gryf. Y mae dylanwad gan y cyfan o bob cymdeithas ar ei haelodau unigol i'w dwyn i fyny trwy gymdeithas eu gilydd i safon uchaf y gymdeithas. Y mae ysbrydolrwydd nifer o'r aelodau sydd mewn eglwys yn dystaw weithredu i godi yr holl eglwys i'w safon hwy. Felly mewn cymanfa, y mae cyffyrddiad â'r corff yn ei arweinwyr yn dylanwadu i ddwyn yr aelodau oll yn uwch at yr arweinwyr, fel, pe na byddai amcan arall, y mae cymdeithas eu gilydd yn werthfawr i'r rhai sydd yn llafurio mewn swyddogaeth eglwysig. Rhwystra elfenau drwg i ymledu; ac os tybia unrhyw un mai ganddo ef y mae gwirionedd ac nid gan neb arall, y mae ei ddwyn i'r golwg mewn cynnulliad o swyddogion yn sicr o ddangos iddo ei gamgymeriad. Rhydd fantais i bob daioni ymledu dros wlad gyfan, gan fod pawb yn cynneu eu tân oddiar allor un neu ychwaneg, ac felly cerdda diwygiadau yn gyflym dros wlad. Yr oedd ac y mae cydgasgliad tyrfaoedd i glywed pregethu y gair yn nerthol

weithredu i'r un amcan. Ar yr ŵyl, pan ag yr oedd y miloedd o bob parth o'r byd wedi ymgasglu ynghyd, y tywalltwyd yr Ysbryd ar y cyntaf, ac felly yr ymledodd ar fyrder dros yr holl fyd. Yuddynt hwy y rhagolygi:, ac y dylid gofalu, ac felly y gwnai y tadau, am yr holl eglwysi, ac felly amaethid yn yr ieuainc a'r dibrofiad y ddawn weinidogaethol a llywodraethol, y rhai sydd yn hanfodol i lesiant pob cymdeithas Y mae'r llywodraethiad hwn, nid trwy osodiad yr aelodau—ac nid i gario allan benderfyniadau yr aelodau fel ffynnonell eu hawdurdod y dewisir y swyddogion—eithr yn ol gosodiad yr Arglwydd, ac i gario allan ei ewyllys ef. Y mae awdurdod yn y teulu trwy osodiad yr Arglwydd, ac i gael ei rheoli gan ei Air ef, ac yn ddarostyngedig i'w ewyllys; dyma yw ei therfynau. Ar ein haelwydydd y mae awdurdod a chariad i fod yn gydblethedig. Felly y mae awdurdod llywodraethol yn yr eglwys â'i reol a'i derfynau yn Ngair yr Arglwydd. Pan y dewisa yr eglwys, gweddïa ar i'r Arglwydd ddewis. Nid i ufuddhâu iddi ei hun y gosoda hwynt, ond i ufuddhâu i'r Arglwydd.

Ymysg y gweinidogion, y rhai a ymroddent, yn nghyflwr isel eu gwlad, i daenu gwybodaeth o Dduw, y cododd yr anghen am gynnorthwywyr, i reoli a dysgu yr eglwysi yn eu habsennoldeb, ac yn gymhorth iddynt pan yn bresennol. Felly o'u cymanfa, gofynasant i'r eglwysi, o honynt eu hunain, ac iddynt eu hunain, ddewis blaenoriaid. Cododd y swydd hon yn ddystaw i'r golwg yn yr oes apostolaidd yn nghanol y cyflawnder o ddoniau ysbrydol ag oedd gan yr aelodau. Cododd yr un mor ddystaw a naturiol trwy y digonolrwydd ag oedd yn ein tadau i ofalu am yr eglwysi, ac i sicrhâu eu cynnorthwy hwythau. Ar y llinellau hyn rhoddwyd i ni lu mawr, a fu ac y sydd o nerth mawr er cynnydd a chadarnhâd ein heglwysi. Hyn hefyd a geidw y swydd rhag dirywio yn barhâus, heb lithro ar y naill law i weithredu heb weinidogion, ond o herwydd anghenrheidrwydd a osodir gan amgylchiadau, ac heb ar y llaw arall ddisgyn yn ofalwyr am amgylchiadau allanol yr eglwys yn unig. Os tuedda rhai i'r cyntaf, gwnânt ddirfawr gam â'r eglwysi dan eu gofal. Y mae pob gweinidog i Grist yn dymuno cael rhai effeithiol, cryf eu barn, a sicr eu crefydd, i'w gynnorthwyo; ac y mae pob gwir flaenor yn ofidus, a than faich trwm, ac yn anesmwyth, heb gael gallu a dawn y weinidogaeth yn gryfder a diogelwch iddo yntau. Y mae aml i Phylip y diacon yn myned yn Phylip yr efengylwr; a chedwir ysbrydolrwydd gyda phethau allanol ein heglwysi fel ag i'r rhai hyn fod yn gysegredig. Yn y llysoedd eglwysig y mae eu cysylltiad neillduol â'r eglwysi, fel aelodau o honynt, yn rhoddi iddynt y profiad, fel ag i fod yn ddiogelwch i arweinwyr y Cyfundeb gyda phob achos. Cyfyd dymuniadau ac anghenion yr eglwysi megys tarth gwastadol. Yn y blaenoriaid yn aml y mae yn crynhoi, yn ymgasglu yn gymylau, a thrwy eu cydswyddogion oll, daw i lawr yn wlaw bendithiol ar yr eglwysi. Y mae diogelwch a nerth y blaenoriaid mewn gweinidogaeth gref; gyda hyn, llwyddant yn eu gwaith. Cadernid a sail swydd y diacon ydyw y weinidogaeth, ac os gwanheir y sail ni bydd nerth yn aros yn y llall. Y mae diogelwch a nerth y gweinidogion i raddau mawr iawn yn ymddibynu ar flaenoriaid galluog i gydweithredu â hwy. Megys yn yr eglwys gyntefig, bendithiwyd hyn yn ein Cyfundeb ninnau â llwyddiant arbenig yn eu dyddiau hwy. Pan yn gweithredu yn ol ysbryd y tadau, y mae y swyddogaeth hon o annhraethol ddefnydd; ond pan yn llithro ymaith, y mae yn troi er drwg a gwanychdod i'r eglwys.

Gydag amser, er perffeithio gwaith y weinidogaeth, teimlwyd yr anghen i ddefnyddio holl nerth yr eglwys i ddysgu y gair. Y mae genym le cryf i gredu fod y gallu hwn yn cael ei ddefnyddio yn helaeth yn yr oes Apostolaidd; a thrwy ein Hysgolion Sabbothol y mae holl allu yr eglwys i addysgu yn cael ei ddwyn i waith. Nid sefydliad oddiallan i'r eglwys, yn cael ei dwyn ymlaen gan ryw nifer o ddynion crefyddol, ydyw gyda ni, ond gweithrediad yr eglwys fel eglwys i Grist. Mewn rhanau eraill o eglwys Crist, y mae yr ysgol o'r tu allan i'r eglwys, yn grefyddol ac yn gynnorthwy; ond gyda ni y mae oddimewn i'r eglwys. Nid gwaith ag y dymunir ar rywrai ei wneuthur, ond gwaith y mae dyledswydd ar bob aelod eglwysig

yn ol ei allu i'w wneuthur. Ni! rhyddid ac annogaeth sydd yma, ond rhwymedigaeth. O'r eglwys y tardd yr ysgol, a than awdurdod yr eglwys y parhâ ei defnyddoldeb; ac os oes tuedd weithiau i'w gosod yn sefydliad oddiallan i'r eglwys, yr ysgol ei hunan a deimla y drwg gyntaf, yna yr eglwys drwy yr ysgol. Yn ein plith y mae yn agos i dair ar hugain o filoedd o athrawon ac athrawesau yn ddysgawdwyr yr eglwys, i ba rai y mae y fraint hon yn cael ei rhoddi, a'r lle yn ddigon eang i holl allu yr aelodau gael ei ddwyn i'w lawn weithgarwch; ac os tybia rhywun fod ei ddawn yn cael cyfyngu arno gan swyddogaeth eglwysig, "ni chyfyngwyd arnynt ynom ni, eithr cyfyngwyd arnynt yn eu hymysgaroedd eu hunain."

*(I barhâu.)*

---

## DYLANWAD YSBRYDOL CRIST YN GWELLAU DYNION O RAN EU PETHAU NATURIOL A DAEAROL.

*Gan y Parch.* John Pugh, B.A., *Treffynnon.*

Esaiah iv. 2: "Y pryd hwnw y bydd Blaguryn yr Arglwydd yn brydferthwch ac yn ogoniant, a ffrwyth y ddaear yn rhagorol ac yn hardd i'r rhai a ddiangasant o Israel."

Mae ein testun yn addaw pethau tra daionus i rywrai "y pryd hwnw," sef mewn dydd o adfyd, blinder, a difrod. Byddem ni mewn dydd o'r fath yn barod i dybied y byddai cael cyfnewidiad er gwell yn beth anmhosibl. Eto da a fyddai i ni gofio y gall Duw greu goleuni yn nghanol tywyllwch, dwyn trefn allan o ddyryswch, a gweini y cysur goreu yn nyfnder y trallod mwyaf. "Y pryd hwnw" i Israel ydoedd pan oedd eu gwlad yn anrheithiedig, llawer o'r genedl wedi cael eu lladd, a lliaws mawr wedi cael eu cymeryd yn gaethion gan yr Assyriaid. Er hyny "y pryd hwnw" wele bethau mawrion yn dyfod i'r golwg, sef "Blaguryn yr Arglwydd yn brydferthwch ac yn ogoniant." Tebygol fod y Blaguryn yn arwyddo yn uniongyrchol ryw waredwr tymmorol i Israel, megys Zorobabel, trwy yr hwn yr oedd trefn a chysur i gael eu hadferu yn eu plith fel cenedl. Ond yr oeddent hwy i edrych uwchlaw a thu hwnt iddo ef at Waredwr mewn ystyr llawer rhagorach. Ac mewn rhai hen ysgrifau mae y darlleniad fel hyn, "Y pryd hwnw y bydd Messiah yr Arglwydd yn brydferthwch ac yn ogoniant." Ac y mae hyn yn cyd-daro yn hynod â phrophwydoliaeth arall: "Wele y gŵr â'i enw Blaguryn, o'i le hefyd y blagura, ac efe a adeilada deml yr Arglwydd . . . ac efe a ddwg y gogoniant ac a eistedd ac a lywodraetha ar ei orseddfainc" (Zech. vi. 12). Wel, pa fath un ydyw y Blaguryn ynddo ei hun? Mae yn "brydferthwch ac yn ogoniant;" a dyna pa fath un ydyw yn ngolwg pawb sydd wedi ei wir adnabod. A than ei ddylanwad ef mae dynion yn cael eu gwellâu yn rhyfeddol; ac mewn canlyniad i hyny mae hyd yn nôd y ddaear a'r pethau perthynol iddi fel pe byddent yn newid eu gwedd: mae "ffrwyth y ddaear yn rhagorol ac yn hardd;" neu yn ol desgrifiad y salm, "Gwirionedd a dardda o'r ddaear, a chyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd. Yr Arglwydd hefyd a rydd ddaioni, a'r ddaear a rydd ei chnwd." Dengys y rhan ddiweddaf o'r testun fod y rhai arbedol yn Israel yn rhai oeddynt wedi cael eu gwellâu: y rhai yr oedd y Blaguryn iddynt yn brydferthwch ac yn ogoniant ydoedd hefyd y "rhai a ddiangasant o Israel." Ac y mae pob un o'r rhai hyn yn cael ei alw yn "sanct" yn yr adnod ddilynol, ac yn cael ei ddynodi fel un wedi "ei ysgrifenu ymhlith y rhai byw yn Jerusalem."

Arweinir ni gan ein testun i wneyd y sylw canlynol:—

Fod dylanwad ysbrydol Crist ar galonau dynion yn effeithio yn y modd mwyaf daionus arnynt o ran eu pethau naturiol a daearol.

Gallwn weled hyn trwy amryw ystyriaethau.

I. Mae dylanwad Crist yn puro ac yn coethi y galluoedd a'r talentau naturiol y mae dynion yn eu meddu; ac felly maent yn myned "yn rhagorol ac yn hardd."

Mae dynion wedi derbyn, mewn gwahanol raddau, athrylith a thalentau, pa rai o ran eu natur eu hunain sydd yn wir ragorol. Wele un yn meddu craffder a threiddgarwch meddwl, yr hyn sydd yn ei alluogi i ddeall natur pethau, ac i farnu ac ymresymu yn eu cylch; mae efe mewn gair yn wir athronydd. Gellir gweled un arall, yr hwn sydd yn meddu dychymyg bywiog a chynnyrchiol, fel y mae gwahanol bethau yn byrlymu o'i feddwl, weithiau mewn modd cyffrous a tharawiadol, ac weithiau mewn modd tawel a deniadol: mae y cyfryw un wrth naturiaeth yn fardd. Cyfarfyddir yn fynych âg un arall yr hwn sydd yn meddu y fath hynawsedd a lledneisrwydd o ran tymher ag sydd yn ei wneyd yn un hoffus iawn mewn cymdeithas. Dyna un arall yr hwn sydd yn meddu y fath arabedd a ffraethineb fel ag y mae yn fywyd i'r cwmpeini pa le bynag y byddo. Wele un arall yn meddu hyawdledd, trwy yr hyn y mae yn abl i siarad yn rhydd, trefnus, a phwr-

pasol, ar unrhyw bwnc braidd a gyflwynir i'w sylw. A dyna un arall yn meddu gwroldeb tanbaid ag sydd yn ei gyfaddasu i gyflawni gorchestion mawrion. Wel, peth tra chyffredin, ysywaeth, ydyw gweled y rhagoriaethau hyn yn cael eu camddefnyddio, neu eu harfer ar wrthddrychau anmhriodol. O herwydd hyn, dacw fe allai athroniaeth y dyn doeth yn dybenu mewn didduwiaeth; mae efe yn ymresymu ei hun i anffyddiaeth. Wele y bardd cynnyrchiol yn bwrw allan ddarluniadau a dychymygion sydd yn tueddu yn uniongyrchol i lygru ei gymdeithion. Dyna hynawsedd rhyw un arall yn myned yn fath o feddalwch, trwy yr hyn y mae yn hawdd yn myned yn ysglyfaeth i gwmni gwael, gwammal, a drygionus. A dacw ffraethineb un arall yn cael ei arfer i gynnyrchu y cellwair ffol a'r digrifwch ynfyd. Ac wele hyawdledd y nesaf yn achlysur i gamarwain rhai diniwed, neu i feithrin heresiau gwladol a chrefyddol. A dyna wroldeb y nesaf yn cael ei amlygu mewn gwrhydri yn y campau ofer neu orchestion annuwiol.

Ond edrychwn yn nesaf ar y pethau hyn wedi eu puro a'u coethi dan ddylanwad Iesu Grist. Dyna yr athronydd yn arfer ei feddwl craff mewn ceisio deall y natur ddynol, gyda y bwriad o wneyd daioni. Mae yn treiddio i weithredoedd Duw mewn natur a gras; ac i'r graddau y mae yn gwneyd hyny mae ysbryd defosiynol yn cael ei feithrin ynddo. Cawn fod Syr David Brewster ryw ddiwrnod yn edrych trwy y *microscope* ar un o weithredoedd Duw, ac yna wedi llwyr anghofio y cwmni oedd o'i gwmpas, torodd allan gan ddyweyd, "Good God, good God! how marvellous are thy works!" Wele y bardd sydd yn agos at Iesu Grist yn rhoddi i ni linellau coeth sydd yn toddi ein calonau ac yn gwresogi ein serchiadau, yn gyffelyb fel y gwnaeth y tyner Cowper a'r duwiolfrydig Pantycelyn. Dyna y dyn ffraeth, trwy ychydig eiriau llymion neu ymadroddion cwta, yn rhoddi taw ar yr ymhonwr beiddgar, neu yn peri cywilydd i'r ystranciwr drygionus. Wele y dyn hyawdl yn arfer ei dalent i ddadleu rhyw achos teilwng, fe allai mewn cylch cyffredin, neu o bosibl mewn cylch uchel a dylanwadol, yn gyffelyb i Wilberforce, yr hwn a orchfygodd y Senedd fel ag i sicrhâu rhyddhad y caethion. A dacw y dyn llednais yn ymdoddi mewn dyngarwch, fel ag y mae yn myned yn ddyn penderfynol mewn gwneyd daioni, yn gyffelyb i Howard, yr hwn a leihäodd gymaint ar drueni y carcharorion. Ac wele y dyn gwrol yn ymroddi i orchestion o ddaioni, trwy yr hyn, o bosibl, y mae gwlad gyfan yn cael ei bendithio, yn gyffelyb fel y gwnaeth Moffat a Livingstone. Mae lluniau dynion o'r fath yma yn harddu ein parwydydd, a bydd eu henwau yn berarogl-aidd trwy yr oesau. Mae llawer dyn heddyw yn cael ei luchio fel pêl droed yn y llaid; ond o herwydd y talentau y mae yn feddu, pe byddai yn dyfod dan ddylanwad Iesu Grist, byddai yn goron i'w deulu ac yn anrhydedd i'w wlad. Felly mae y "ffrwyth yn rhagorol ac yn hardd."

II. Mae dylanwad Crist yn peri fod dynion yn ymwneyd â'r ddaear a'i phethau mewn ysbryd ac mewn modd priodol.

Wel, pa fath ydyw yr ysbryd hwn? Ysbryd i wasanaethu Duw heb betruso nemawr ynghylch y sefyllfa ymha un y byddo efe wedi ein cyfleu. Gwas, fe allai, ydyw y dyn; ond hynod mor hardd ydyw yn y sefyllfa hono; oblegid tra y mae yn ceisio cyflawni yn ffyddlawn ei ddyledswyddau, mae rhyw urddas yn ei ysbryd, gan ei fod yn edrych uwchlaw dynion at y Duw, yr hwn y mae hyd yn nôd mewn pethau cyffredin yn ei wasanaethu. Mae y dyn yn feistr; eto hynod mor hardd ydyw yn y sefyllfa hono, gan nad ydyw mewn un modd yn ymhongar ac uchelfrydig, oblegid mae yn ystyried mai gwas ydyw yntau i Dduw, ac ei fod ymhob peth yn gyfrifol iddo. Dan ddylanwad yr ysbryd hwn mae y gwahaniaethau o ran sefyllfäoedd allanol yn myned i fesur mawr yn ddibwys, gan mai yr amcan mawr ymhob sefyllfa ydyw gwasanaethu a gogoneddu Duw. Mae hyn yn cael ei osod allan mewn modd tarawiadol gan John Newton. Tybia efe fod dau angel, yn cael gan y Brenin Mawr ddau orchwyl i'w cyflawni tra gwahanol i'w gilydd: mae un o honynt i lywodraethu teyrnas, a'r llall i ysgubo yr ystrŷd. A thybia efe, ymhellach, na byddai o ddim pwys yn ngolwg y naill neu y llall o honynt pa un o'r ddau orchwyl a ddisgynai i'w ran, gan mai gwasanaethu Duw ydyw amcan pob un ymhob gorchwyl.

Pa fath eto ydyw yr ysbryd hwn? Ysbryd i iawn brisio pethau y ddaear, fel ag i beri i ddyn beidio cymeryd pethau nemawr at ei galon, pa un bynag ai ffafriol neu anffafriol y byddo y cyfnewidiadau? Wele ryw un yr hwn y mae pethau wedi troi yn ei erbyn yn fawr: y mae yn gweled adfyd ac aflwyddiant; y mae yn cael ei ddwyn o uchder i lawr i iselder; ac y mae ar ol bod mewn llawnder yn dechre gweled arwyddion prinder. Ond hynod mor hardd ydyw yn yr amgylchiadau hyn! y mae yn amyneddgar, ac o bosibl yn siriol; oblegid er fod amryw bethau wedi gwywo a diflanu, y mae'r Blaguryn eto yn parhâu yn ei brydferthwch; ac fe allai ei fod yn mwynhâu ei ffrwythau peraidd yn helaethach nag erioed. Wele eto rywun o'r ochr arall yn llwyddo yn fawr; mae yn cyn-

nyddu mewn cyfoeth ac yn esgyn i fyny mewn anrhydedd ymhlith ei gyd-ddynion. Eto hynod mor hardd ydyw yn wyneb y cyfnewidiadau hyn! Nid yw yn ymchwyddo mewn hunandybiaeth, ac er i gyfoeth gynnyddu, nid yw yn gosod ei galon arno. Mae prydferthwch y Blaguryn o flaen ei lygaid yn ei gadw rhag ymfawrygu o herwydd unrhyw amgylchiadau allanol.

Pa fath eto ydyw yr ysbryd hwn? Ysbryd i iawn ddefnyddio pethau y ddaear ac i fwynhâu Duw ynddynt. Mae yr ysbryd croes i hwn yn anurddo ac yn chwerwi y pethau mwyaf dymunol, ac yn eu troi yn achlysuron o bechod a thrueni. Ond wele ddyn dan ddylanwad Iesu Grist, pa un bynag ai ychydig ai llawer a ddaw i'w ran, y mae yn defnyddio ei gyfran mewn sobrwydd a chymedroldeb, ac y mae rhyw rinwedd yn deillio oddiwrth y Blaguryn sydd yn melysu yn fawr iddo ef hyd yn nôd roddion cyffredin natur.

Mae yr Arglwydd trwy y prophwyd Jeremïah yn cyferbynu hanes Josïah dduwiol â hanes Jehoiacim ei fab, er mwyn dangos gymaint yn fwy rhagorol ydoedd pethau y ddaear i'r naill nag oeddynt i'r llall. Yr oedd Jehoiacim yn frenin di-Dduw, ac yr oedd yn dewis ffyrdd annuwiol, ac nid oedd diwallu arno o ran rhwysg, llawnder a llwyddiant. Eto nid oedd efe ei hun yn hardd, ac nid oedd y pethau hyn yn rhagorol iddo ef. Ond ar gyfer hyn dywedir wrtho, "Oni fwytäodd ac oni yfodd dy dad di?" Nid oeddwn yn gwarafun iddo fwynhâu pethau da y bywyd hwn; yr oedd yn cael hyny i helaethrwydd, ond yr oedd efe yn eu hiawn ddefnyddio, "Oni wnaeth efe farn a chyfiawnder?" Ac yr oedd bendith iddo ar y pethau hyny," "Yna y bu dda iddo ef, yna y llwyddodd; onid fy adnabod i oedd hyn, medd yr Arglwydd?" (Jer. xxii. 15, 16). Yr oedd ffrwyth y ddaear iddo ef "yn rhagorol ac yn hardd."

III. Mae dylanwad Crist yn tueddu dynion i ymddwyn yn addas, gweddaidd, a hawddgar yn eu gwahanol gysylltiadau cymdeithasol.

Wele bâr ieuanc wedi dyfod i undeb â'u gilydd; ac os ydynt dan ddylanwad Crist mae y naill yn ymdoddi i ysbryd a thymher y llall, fel ag y mae y serch a'r ymlyniad yn cryfhâu, a phob peth yn cael ei ddwyn ymlaen mewn addfwynder a chydweithrediad. A phan fydd i'r teulu ddechre llïosogi, mae sobrwydd a diwydrwydd y tad, gofal a chynnildeb y fam, ynghyd a serchogrwydd coeth y ddau, yn peri fod y rhai bychain yn cael eu cyflenwi, eu clydu, eu haddysgu, a'u sirioli. Ac felly mae yr hyn a ddywedir yn Salm cxxviii. 8, yn llythyrenol yn cael ei gyflawni, "Dy wraig fydd fel gwinwydden ffrwythlawn ar hyd ystlysau dy dŷ; dy blant fel planigion olew-wydd o amgylch dy ford. Wele fel hyn yn ddiau y bendithir y gŵr a ofno yr Arglwydd." Felly pan y mae y Blaguryn yn cael lle yn y teulu, mae pob peth sydd yno yn myned yn "rhagorol ac yn hardd."

Os edrychwn drachefn ar ddynion yn eu cysylltiadau masnachol, hynod mor hapus ydyw dylanwad Iesu Grist ar eu calonau. Yr hen egwyddor ddi-Dduw ydyw cymeryd gafael pan y ceir cyfleusdra, heb feddwl nemawr am yr hyn sydd dêg, gonest, a chyfiawn. A mynych y mae y derbyniwr yn cymeryd mantais ar diriondeb a charedigrwydd i ymddwyn yn annhêg ac anffyddlawn tuag at ei gymwynaswr. Ond pa beth y mae Iesu Grist yn ddysgu i ddynion? "Pa bethau bynag sydd wir, pa bethau bynag sydd onest, pa bethau bynag sydd gyfiawn. . . .meddyliwch am y pethau hyn" (Phil. iv. 8).

Ac hyd yn nôd yn yr ymwneyd cyffredin a beunyddiol sydd rhwng dynion â'u gilydd, mae dylanwad Crist arnynt yn effeithio yn dra dymunol. Mae hwn yn difa rhyw bethau sydd fel tawch afiachus a niweidiol yn ysbrydoedd dynion; ac o'r ochr arall y mae yn tueddu dynion i obeithio y goreu, i guddio llawer o ffaeleddau, ac i fod yn ddoeth ac amyneddgar yn eu hymddygiadau. Felly mae y Blaguryn yn perarogli cymdeithas, ac yn peri fod y ffrwyth yn "rhagorol ac yn hardd." Gofynwyd i Chinëad dychweledig yn New Bendigo yn Australia, pa beth oedd yr efengyl wedi wneyd yno yn yspaid y saith mlynedd diweddaf? A dyma ei atebiad, "O'r blaen yr oedd pawb yma yn addoli duwiau, yn awr nid oes ond deg teulu yn gwneyd hyny; o'r blaen yr oedd pawb yn gweithio ar y Sabboth fel ar ddiwrnodau eraill, yn awr nid oes neb o'm cenedl i yn gwneyd hyny; o'r blaen yr oedd llawer o'n pobl ni yn lladrata pethau y nosweithiau, yn awr mae y lladrata wedi darfod; o'r blaen yr oedd llawer o'r bobl yn ymryson ac yn ymladd yn y prydnawniau, yn awr mae yr ymladdau wedi diflanu; o'r blaen nid oedd neb o'r bobl yn gofalu dim am Air Duw, yn awr y mae llawer yn darllen ac yn chwilio yr Ysgrythyrau." Yn y siampl hon gwelir fod y ffrwyth "yn rhagorol ac yn hardd."

IV. Mae dylanwad Crist ar galonau dynion yn eu tueddu i arfer eu gwybodaeth a'u celfyddyd mewn modd ag sydd yn llesâu trigolion y ddaear.

Ni bu erioed fwy o gynnydd ar wybodaeth nag sydd yn yr oes hon; a thebygol nas amlygwyd erioed gan ddynion fwy o fedrusrwydd yn y gwahanol gelfyddydau. Ond yn fynych o herwydd fod dynion yn ddi-Dduw, mae'r wybodaeth yn cael ei

harfer i wasanaethu llygredigaeth, a'r y mae eu cywreinrwydd yn cael ei osod ar waith i ddyfeisio offerynau difrod a dinystr. Pa mor fynych, oblegid hyn, y darllenwn am y galanasdra a wneir trwy y *cannon*, y *torpedo*, y *mitrailleuse*, a'r *dynamite*? A pha mor aml y darganfyddir y dyfeisiau a'r amcanion ellyllaidd i ba rai y mae celfyddyd yn cael ei darostwng? Ond dan ddylanwad Iesu Grist, bydd i'r holl gelfyddydau gael eu troi i ddybenion teilwng, sef i lesâu dynion mewn ystyr naturiol, gwladol, a chrefyddol. Ac y mae hyn i raddau yn cymeryd lle yn bresennol. Mae celfyddyd yn awr yn foddion i roddi math o oleuni i'r dall, i roddi cysur i'r byddar, ac i liniaru poen y cystuddiedig. Mae yn gyfrwng i argraffu ac i ledaenu miliynau o gopïau o Air Duw, ac i wasgaru gwybodaeth gyffredinol yn mhlith dynion. Trwy gelfyddyd mae gwledydd a theyrnasoedd yn cael eu dwyn yn nês nês at eu gilydd, ac felly yn raddol mae y byd mawr yn cael ei wneyd yn fwy tebyg i un dalaeth gwmpasog. Rhaid addef fod Rhagluniaeth ddoeth, yn fynych yn goruwchreoli y defnyddiad o offerynau dinystr er chwilfriwio rhyw hên wrthgloddiau ag oedd yn rhwystr ar ffordd llwyddiant yr efengyl. Ac o herwydd hyn mae hyd yn nôd rhyfeloedd mawrion wedi bod yn achlysur lawer gwaith i ledaenu yn fawr derfynau teyrnas y Gwaredwr. Er y cwbl, tuedd uniongyrchol ei ddylanwad ef ydyw llesteirio a gwrthweithio y pethau ag sydd yn achosion o'r galanasau dinystriol yma. A phan y bydd i drigolion y byd yn gyffredinol gael eu gwellâu trwy rinwedd y Blaguryn, "troir y cleddyfau yn sychau, a'r gwaewffyn yn bladuriau, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Siampl nodedig o'r hyn sydd sydd genym mewn golwg ydoedd yr hyn a gymerodd le pan lwyddwyd gyntaf i osod i lawr yr *Atlantic Cable*, fel ag i gysylltu Prydain ac America. Y genadwri gyntaf a anfonwyd gyda'r *cable* oedd hon: "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da." Wele ffrwyth y ddaear, sef y gwahanol gelfyddydau, "yn rhagorol ac yn hardd."

V. Mae dylanwad Crist ar galonau dynion yn achos o urddas a dyrchafiad i'w meddwl, trwy roddi yr amcan uchelaf i'w bywyd, sef gogoneddu Duw.

Dan ddylanwad Iesu Grist bydd i'r hyn a ddywedir am Tyrus gael ei gyflawni, "A bydd ei marchnad a'i helw yn sancteiddrwydd i'r Arglwydd" (Esa. xxiii. 18). Y canlyniad o hyn a fydd fod rhyw fathau o fasnachau yn cilio, yn lleihâu, ac yn diflanu. Pan ddelo ffrwyth y ddaear i fod yn rhagorol ac yn hardd, derfydd y *breweries* mawrion a'r *gin palaces* ardderchog; oblegid mae y rhai hyn yn awr yn achos o annhrefn, tlodi, gwallgofrwydd, a thrueni anaele. "Bydd ar ffrwynau y meirch, SANCTEIDDRWYDD I'R ARGLWYDD." Ac am hyny derfydd rhai arferion sydd mewn bri mawr yn bresennol. Derfydd y *races*, a'r *horse races*, a rhyw fathau o *athletic sports*, y rhai sydd yn awr yn gynnyrch ac yn feithrinfa llygredigaeth. Ac y mae holl natur fel pe byddai yn dyheu am weled y cyfnewidiad hapus hwn. "Ni a wyddom fod pob creadur yn cydocheneidio ac yn cydofidio hyd y pryd hwn." Mae yr haul fel pe byddai yn blino goleuo dynion sydd yn digio Duw; mae yr awyr fel pe byddai yn cwyno wrth roddi anadl i rai di-Dduw a diweddi; mae y môr yn blino cludo llongau sydd mor llwythog o bechodau; ac y mae yr anifeiliaid direswm yn ocheneidio am eu bod yn gorfod gwasanaethu pechod ac annuwioldeb. "Awyddfryd y creadur sydd yn dysgwyl am ddadguddiad meibion Duw. . . . dan obaith y rhyddheir y creadur yntau o gaethiwed llygredigaeth i ryddid gogoniant plant Duw" (Rhuf. viii. 19—21). Trwy ddylanwad Iesu Grist bydd hyd yn nôd i'r creaduriaid direswm gael mwy o esmwythder a hapusrwydd. Bydd y ffrwyth felly "yn rhagorol ac yn hardd."

Gallwn weled oddiwrth y sylwadau hyn,

1. Fod dynion yn gwneyd cam mawr â hwy eu hunain trwy barhâu yn ddyeithr i Iesu Grist. Beth bynag yw ein hanghenion, gall efe eu diwallu. Mae y "pren hwn yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, bob mis yn rhoddi ei ffrwyth." Mae Crist "wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn ddoethineb, yn gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac yn brynedigaeth." Ac os ydym yn cael trallodau mawrion, mae rhinwedd yn perthyn i'r Blaguryn i roddi cysur yn eu canol, ac i'w troi yn wir fendithion, yn gyffelyb fel ag oedd y pren i Israel yn pereiddio dyfroedd Marah. A pha ragoriaethau naturiol bynag y dichon i rai fod yn eu meddu, mae cymundeb â'r Blaguryn yn ychwanegu at eu prydferthwch. Y goron harddaf ar y bachgen sydd wedi hynodi ei hun fel ysgolaig ydyw ei fod o dan y cwbl yn meddu ysbryd ac i raddau yn dwyn delw Iesu Grist. Yr addurn gwerthfawrocaf ar y dyn sydd wedi cyrhaedd enwogrwydd fel llenor, meddyg, cerddor, rhifyddwr, celfyddydwr, neu beiriannydd, ydyw fod egwyddorion mawrion crefydd Iesu Grist yn ei lywodraethu. A'r hawddgarwch mwyaf deniadol yn yr eneth ieuanc, yr hon sydd wedi cyrhaedd pob math o *accomplishments* ag a ellir eu cael trwy addysg a diwylliant, ydyw ei bod yn meddu y prydferthion hyny sydd yn unig i'w cael trwy gymundeb â Iesu Grist, neu fod ei holl gymeriad yn cael ei berarogli trwy agosrwydd parhâus at y Blaguryn,

yr hwn sydd ei hunan yn brydferthwch ac yn ogoniant.

2. Y dylem arfer pob moddion o fewn ein cyrhaedd tuag at ddyfod dan ddylanwad bendithiol y Blaguryn. Yn yr ymarferiad â'r Gair ac â gwahanol ordinhadau yr efengyl, mae llawer wedi cael achos i ddyweyd, "Bu dda genyf eistedd dan ei gysgod ef, a'i ffrwyth oedd felus i'm genau." Ac onid dyna brofiad rhai o honom ambell nos Sabboth, hyd yn nôd yn absennoldeb cyffroadau nerthol neu deimladau cryfion, sef ein bod wedi teimlo rhyw rinwedd oddiwrtho Ef yn yr ymwneyd â'r gwahanol foddion sydd yn ein gwneyd ychydig yn fwy pur, yn fwy coeth, yn fwy ysbrydol, ac yn fwy duwiolfrydig?

3. Fod y dylanwad daionus hwn yn brawf diymwad o wirionedd Cristionogaeth. Mae y grefydd hon yn gwellhâu dynion mewn ystyr ymha un y mae pob moddion eraill yn cael eu profi yn aneffeithiol. Mae bywyd yn perthyn iddi; y mae yn cyrhaedd calonau dynion, ac yn trawsffurfio eu holl gymeriad. Mae, gan hyny, holl ddamcanion y *sceptics* a'r *agnostics* yn cael eu chwalu fel mŵg o flaen y ffeithiau cedyrn sydd yn barhâus yn dyfod i'r golwg trwy wir Gristionogaeth.

4. Mai y ffordd i wellâu y byd mawr ydyw ceisio cael ei holl drigolion dan ddylanwad y Blaguryn, Iesu Grist. Mae dail y pren hwn "yn iachâu y cenedloedd." Mae hwn yn effeithio er iachâu gwledydd eang oddiwrth goelgrefyddau ffol a defodau ynfyd; y mae yn iachâu paganiaid oddiwrth eu dulliau gwael, eu harferion bryntion, a'u hysbryd cynddeiriog. Dan ei ddylanwad ef, "y blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r myn. . . . . . Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy sancteiddrwydd." "Yn wir," medd Efe wrth Ioan, "yr ydwyf yn dyfod ar frys;" ac onid ydym ninnau, fel yntau, yn barod i ddywedyd, "Amen, Amen. Yn wir, tyred, Arglwydd Iesu!"

---

## Y CAPELYDD.

Yr ydym yn dymuno galw sylw at y capelydd fel lleoedd i siarad. Ofni yr ydym nad dyma sydd wedi bod bob amser yn brif amcan wrth wneyd capel. Yr hen Fethodistiaid, pan yn gwneyd capel, nid oedd fawr o bwys ganddynt am ei ymddangosiad allanol na mewnol; yr hyn oedd ganddynt hwy mewn golwg oedd cael lle i addoli. Ac fe ddygwyddent yn aml, mae yn ddiammheu, gael lle cyfleus a chysurus ymhob ystyr. Ond yr ydym ni yn awr yn adeiladu capelau drudfawr, ac wedi bod yn talu sylw anghyffredin i'r ymddangosiad allanol, ond llawer rhy ychydig, ysywaeth, i'r rhanau mewnol. Ac yr ydym, yn ddiammheu, yn y deng mlynedd ar hugain diweddaf wedi bod yn alluog i adeiladu capelydd hardd, ac i wneyd, ar yr un pryd, rai o'r adeiladau mwyaf annedwydd i bregethu gair Duw ynddynt a welodd y byd erioed. Ni buasai hyn ryw lawer iawn o bwys pe ymborthi a byw y buasem ar ymddangosiad, ac ar ddefodau rhwysgfawr y gwasanaeth. Ond nid felly yr ydym; yn hytrach, dibynu yr ydym yn hollol ar nerth a gallu y pulpud yn ein plith. Ac ar hyn yn ddiau y rhaid i bob enwad yn y pen draw ddibynu, neu ddiflanu mewn blynyddoedd o'r wlad. Nid yw Eglwys Loegr yn dibynu ond ychydig ar nerth ei phulpud; o ganlyniad, y mae ei hadeiladau yn gyffredin yn hollol anffafriol fel lleoedd i bregethu. Ac nid ydym, er ys talm, yn dysgwyl rhyw hyawdledd anorchfygol oddiyno. O'r ochr arall, dyma y ffynnonell trwy ba un y cafodd yr enwadau eu bôd; oddiyma y meithrinwyd ac y porthwyd hwynt; ac wrth y pulpud yr ydym yn dysgwyl am y dyfodol hefyd. Fe ddylai felly fod sylw neillduol yn cael ei dalu i'n capelydd fel lleoedd i siarad, ac fe ddylai fod ein dynion goreu a'n dynion mwyaf gwybodus yn cymeryd y mater i fyny.

Fe allai fod rhai yn barod i ddyweyd nad yw hyny o bwys yn y byd. Cael Ysbryd Duw yw y pwnc mawr, meddant. Addefwn hyny yn bur rhwydd; ond y mae Ysbryd Duw yn gweithio trwy foddion. Oni byddai Henry Rees yn dyweyd fod nadau plentyn yn ddigon i gadw yr Ysbryd Glân o'r addoliad? nid oblegid fod gan yr Ysbryd ddim yn erbyn y swn, ond oblegid ei fod yn effeithio ar y dyn. Nis gallai y pregethwr ddim pregethu; yr oedd y nadau yn tynu ei sylw, ac yr oedd y bobl yn edrych arno, ac yn colli eu golwg ar y pwnc oedd gan y pregethwr. Felly y dywedwn ninnau: y mae y capelydd hyny sydd wedi eu gwneyd heb olwg o gwbl ar eu cael yn lleoedd cyfleus i siarad yn rhwystro yr Ysbryd Glân i ddyfod iddynt. Nid yw y goleuni nefol yn dyfod i mewn; nid yw nerthoedd y byd a ddaw i'w teimlo. Dacw'r diwrnod wedi dyfod i agor yr addoldŷ newydd: y mae'r bobl o'r holl wlad o gwmpas wedi dyfod yno erbyn yr achlysur, ac y mae rhai o'r pregethwyr mwyaf godidog sydd ar y maes wedi dyfod yno i bregethu. Dyna y cyfarfod cyntaf drosodd; ond ni bu yno ddim neillduol. Cyfarfod y prydnawn drachefn a ddaeth; ond ni bu yno ddim llewyrch: cyfarfod y nos hefyd; ac os bu yno ond ychydig o ddylanwad fore a nawn, y mae llai yn yr hwyr. Cyfarfod lled dda, medd rhai; cyf-

arfod canolig a chyfarfod dilewyrch, medd eraill. Ac felly yr oedd. A oedd Ysbryd Duw wedi cilio oddiwrth y bobl? Nac oedd mewn un modd. Yr unig reswm am dano oedd fod yna ryw ysbryd drwg yn y waliau ac yn y nenfwd, fel pe buasai yn chwerthin am ben pob ymdrechion yn ystod y dydd; a thra y parhâ careg ar gareg, fe lecha yntau yno.

Nid awn mor bell â dyweyd nad yw pregethu grymus ddim yn bosibl mewn lleoedd fel yna. Yr ydym yn gwybod yn wahanol. Gall Ysbryd Duw dori dros bob rhwystrau pan y myno; ac y mae yn hyfrydwch mawr meddwl ei fod yn gwneyd hyny. Ond y rheol ydyw mai ar oreu dyn y mae Efe yn gweithio. Pan y mae athrylith a thalent ar eu heithaf yn ei wasanaeth—pan y mae dynion yn fwyaf ffyddlawn ac yn fwyaf egnïol a gweithgar, dyna yr adeg y mae yntau yn hoffi fwyaf rhoddi ei gymhorth mawr ei hunan. Ond yn y capelydd y sonir am danynt, y mae rhywbeth yn rhwystro hyn. Y mae yna rywbeth yn peri fod ei eiriau fel pe buasent yn disgyn ar y llawr o'i enau yn farw, yn lle ffurfio, fel y belen o enau y fagnel, ryw *parabolic curve* yn yr awyr, a disgyn yn union ar ei nôd. Y mae yna rywbeth yn blino mynwes y pregethwr yn anghyffredin, fel pe buasai geryg yn pwyso arni; ac y mae gewynau ei wddf, druan, wedi llesgâu cyn gorphen y weddi. Clywsom bregethwr parchus yn dywedyd yn ddiweddar, y byddai, ar ol yr oedfa fore Sul mewn capel o'r nodwedd uchod, yn teimlo yn hollol flinedig. Ac felly y cawsom brawf neillduol ein hunain yn ddiweddar. Yr oeddym yn pregethu fore a hwyr yn un o'r capelydd mwyaf yn un o'r Siroedd—capel hynod o hyfryd i lefaru ynddo. Ond am ddau o'r gloch yr oedd yn rhaid myned i gapel bychan, yr hwn y mae ei nenfwd yn llawer rhy isel. Yn y capel mawr hawdd fuasai siarad am ddwy awr heb deimlo y radd leiaf o flinder, eithr gyda hyfrydwch i'r pregethwr a'r gwrandäwyr; ond yn y capel bach yr oedd gewynau y gwddf braidd yn boenus cyn bod y weddi drosodd. Mewn capelydd o'r nodwedd hwn hefyd y mae y bobl yn methu clywed. Mewn rhai rhanau o'r capel y mae deall yr hyn a ddywedir yn anmhosibl. Yn y capel bychan uchod, dywedai un oedd yn eistedd o fewn ychydig latheni i'r pulpud, ei fod yn teimlo anhawsdra i ddeall yr hyn a ddywedid.

Ond er nad ydym am ddyweyd fod pregethu grymus yn anmhosibl mewn lleoedd fel hyn, yr ydym am fyned mor bell â dyweyd fod pregethu grymus yn beth lled eithriadol ynddynt. Yr ydym yn adnabod llawer o bregethwyr, ac wedi bod yn gofyn iddynt o dro i dro pa fath oedfäon fyddent yn gael yn y fan a'r fan. Yr ateb dieithriad fyddai, na fyddent byth yn cael oedfäon da. Clywsom gryn lawer o bregethu mewn capelydd felly, ac ni welsom oedfäon effeithiol ond anaml iawn. Yr ydym wedi bod yn pregethu nid ychydig ein hunain mewn lleoedd fel hyn, ond nid erioed gyda llawer o hyfrydwch. Y mae Dr. Guthrie yn dyweyd yn ei Fywgraffiad y gallai efe adnabod gweinidog unrhyw eglwys oddiwrth ei wrandäwyr. Dim ond iddo ef gael pregethu iddynt am un Sabboth, tybiai y gallai ddyweyd yn lled ddibetrus pa fath weinidog oedd ganddynt. Yr ydym ninnau yn meddwl y gellir i ryw raddau adnabod cynnulleidfa oddiwrth ei chapel. Pa fodd bynag, yr ydym wedi cael, càn belled ag y mae ein sylwadaeth ni wedi myned hyd yn hyn, am y manau lle y mae capelydd â muriau uchel, ac, o ganlyniad, nenfwd uchel, fod y gynnulleidfa yn gyffredin yn un anhawdd iawn effeithio arni. Nid awn i ddywedyd fod y gynnulleidfa hono, fel rheol, yn un ddwl. Ond ni buasai yn beth i ryfeddu rhyw lawer o'i blegid pe buasai felly. O herwydd y pregethu yw un o alluoedd mawrion deffröawl y wlad. Ond nid yw y pregethu yn y capelydd hyn byth yn hynod o ddeffröawl, ac o ganlyniad nid yw ei effeithiau mor fawr ar y gwrandäwyr. Y mae y cynnulleidfaoedd hyny felly yn colli yn ddiarwybod gryn lawer o fendithion mawrion efengyl Iesu Grist bob Sabboth. Yr oedd cantores ardderchog unwaith yn canu mewn cwmni anrhydeddus iawn, yn gynnwysedig o ymherawdwyr ac ymherodresau, a thywysogion a thywysogesau. Hi a lwyddodd i ganu ar yr achlysur yn odidog anghyffredin. Yr oedd pawb oedd yno wedi eu llwyr orchfygu, ac yr oedd llawer o honynt mewn dagrau. Ar ol i'r cyfarfod fyned drosodd, canmolid y gantores gan bawb. Gofynodd un o'i chyfeillion iddi pa fodd y llwyddodd i ganu fel y darfu. "O," meddai hithau, "fy llais i oedd y rheswm am y cwbl. Yr oedd y nodau oeddwn yn wneyd yn fy ngorchfygu i fy hunan." Felly y gellir dyweyd yn ddiammheu am lawer pregeth orchfygol: yr oedd llais y pregethwr yn effeithio cymaint arno ef ei hunan, fel nad oedd ryfedd ei fod yn gorchfygu eraill. Nid ei lais ar wahân oddiwrth ei bethau, a feddyliwn, ond *ei lais ef ar y foment hono gyda'r pethau hyny*. A dyma ydym yn ei ddyweyd,—y mae llawer o gapelydd yn bresennol gan y Methodistiaid lle na buasai y llais byth yn gallu cyrhaedd y pwynt hwnw, oblegid nad yw yr adeilad yn lle cyfleus i siarad ynddo. Gallasai y dyn fod mewn ysbryd rhagorol; gallasai y gynnulleidfa hefyd fod felly; gallasai y pethau oedd ganddo fod yn wir-

ioneddau mawrion tragywyddol, a'r holl ddyn gyda hwynt. Ond ar y foment y mae ei lais yn myned allan i wneyd i fyny gymundeb rhwng ei enaid ef âg eneidiau ei wrandäwyr, dyma rywbeth o waliau a nenfwd yr hen adeilad yna yn lleddfu ei nerth ac yn attal ei ogoniant. Pa faint bynag o wres oedd yn nghalon y pregethwr, gyda fod y gair allan o'i enau, dyma fe dan ddylanwad yr adeilad yn awr. Ac y mae llawer o'r capelydd hyn yn cael eu galw yn gapelydd "oer." Y maent yn hynod o oer yn yr ystyr hon, beth bynag. Dywedir fod y mynyddoedd o rew oedd yn ddiweddar yn rholio tua'r De ar dònau yr Atlantic yn taflu eu iasau oerion dros Ynys Prydain. Y mae pregethu yn y capelydd hyn yn debyg iawn i bregethu o fewn ogof mewn mynydd o iâ, ac fe allai y buasai yn llawn mor hyfryd pregethu mewn capelydd felly. Y mae pob pregeth yn y capelydd hyn, ni waeth pwy a'i pregetho, yn myned dan ddylanwad yr iâ yn y fan.

Ond pa beth yw y rheswm fod capelydd mewn ystâd mor anhyfryd i bregethu ynddynt? Nid ydynt wedi cael eu gwneyd yn y fath fodd ag i ad-daflu y sŵn yn briodol. Y mae deddfau ad-dafliad sŵn yn debyg iawn i ddeddfau ad-dafliad y goleuni. Y mae pob gwrthddrych sydd mewn adeilad yn dyfod yn foddion i ad-daflu y sŵn. Y gwrthddrychau hyn ydynt yn benaf y muriau, a'r nenfwd a'r oriel. Os bydd y capel yn gul, a'r nenfwd yn uchel, y mae yn peri fod y swn yn cael ei ad-daflu yn gynt i glustiau y gwrandäwyr o'r muriau nag o'r nenfwd; fe fydd hwnw, gan fod ei nèn mor bell, yn llusgo ar ol, ac yn peri aneglurder i'r gwrandäwyr. Peth hyfryd iawn yw gwrando yn y dyffryn ar y "gareg ateb," pan y mae yn ddigon pell i ffordd, i chwi gael dyweyd yn gyntaf, a hithau ateb wedi hyny. Ond pan y mae y "gareg ateb" hon yn eich ymyl, fel cyn i chwi orphen eich gair, ei bod hithau yn ei daro yn ol, a hyny yn ddidaw, ddiderfyn, y mae yn debyg iawn mai eich gorthrechu a'ch digaloni a wna. Nid oes dim ond hunanfeddiant perffaith, a siarad tawel, araf, a fydd yn debyg o wneyd dim, lle y mae'r gareg hon yn bod.

Y capelydd mwyaf hawdd siarad ynddynt ydyw yr hen gapelydd, y rhai sydd wedi eu gwneyd rywbeth yn debyg i gylch heb fod yn gyflawn. Y mae oriel o'u cwmpas, ac yr ydych yn cael y bobl i gyd yn eich llaw, fel y dywedir. Nid yw capelydd hirion yn gyffredin yn fanteisiol iawn, os na byddant wedi eu gwneyd mewn ffurf hirgrwn. Y mae gan y ffigiwr a elwir yn hirgylch *(ellipse)* ddau ganolbwynt; ac fe ddywedir, mewn adeilad perffaith o'r ffurf hwnw, pe byddai oriawr yn cael ei gosod yn un o'r ddau ganolbwynt, y byddai yn berffaith hawdd ei chlywed yn tipian. Y mae capelydd sydd wedi eu gwneyd yn y ffurf hwn, er eu bod yn hir, yn rhai perffaith hawdd siarad ynddynt. Y diffyg mawr ar lawer o'n capelydd presennol ydyw nen rhy uchel. Yr ydym yn gwybod am un sir lle y mae hyny yn fai cyffredin y capelau. Ond y mae yr eithaf arall i'w weled yn aml iawn—capelydd â'r nen yn rhy isel. Yr ydym yn gwybod am sir arall ag y mae y capelydd yn rhai da iawn yn gyffredin, ond y mae y nen ar eich talcen; ac y mae hwn lawn cymaint bai a'r llall. Y mae pob capel bron nad yw yn *gymesur i'r llygad* wrth edrych arno yn anhyfryd i bregethu a gwrando ynddo.

Y mae yn ddigon hawdd gwneyd capelydd ag y byddai yn hyfrydwch pregethu a gwrando ynddynt. Ac yr ydym yn credu am y rhan fwyaf o'n capelydd mawr, lle y mae orielau, mai rhai felly ydynt. Y capelydd sydd yn dyoddef fwyaf yn ddiammheu ydynt y capelydd canolig. Ond y rhai hyn sydd yn cyfansoddi y rhan fwyaf o lawer o'n capelydd. Ond pa beth yw y rheswm am fod genym gymaint o gapelydd ag y mae yn anhawdd siarad ynddynt? Am, fel y crybwyllwyd, nad oedd hyny ddim yn amcan gan yr adeiladwyr. Cael capel hardd yr olwg, a thalu am dano, oedd yr amcan; yr oedd hyn wedi llyncu i fyny bob peth arall. Ni ddaeth y peth a ddylasai fod bron yn bwysicaf ddim i feddwl neb ar y cyfeisteddfod. Ond gallesid tybied y buasai cynllunydd y capel yn gwybod rhywbeth am y mater. Na, nid yw yntau, ysywaeth, yn pryderu ond ychydig iawn ynghylch y pwnc hwn. Pa brawf sydd genych? Ugeiniau o gapelydd newyddion y gallem eu nodi yn awr. Rhaid nad oedd y cynllunwyr yn gwybod dim am y peth, neu nad oeddynt yn talu dim sylw iddo; ac y maent i'w condemnio am y naill yn gystal a'r llall.

Nid ydych ddim am adael i rieni gael rhyddid gyda'u plant i beidio eu danfon i'r ysgol, er mai eu plant hwy ydynt. Nid yw rhieni, ysywaeth, ddim yn gwybod pa beth sydd oreu iddynt. Felly y mae y Llywodraeth wedi cymeryd y mater i fyny. A hyny sydd yn ei le. Lle y mae awdurdodau mewn tref, ni adewir i bawb adeiladu eu tai eu hunain, ar eu tir eu hunain, fel y mynant. Paham? Oblegid, yna fe geid un tŷ bychan â thô gwellt yn ymyl tŷ hardd wedi ei adeiladu yn ol perffeithrwydd y gelfyddyd ddiweddaf. Ac fe geid un tŷ yn dyfod allan i'r heol yn bell, ac un arall yn ei ymyl fel pe buasai am gilio gymaint a allai oddiwrthi. Ni fuasai drefn yn y byd ar dref

fel hyna. Buasai mor hawdd cael tref brydferth ar y cyfryw deleran pe buasech yn taflu nifer o dai ac adeiladau o bob math i fyny i'r awyr, a dysgwyl iddynt syrthio yn drefnus i'w lleoedd, gan ffurfio ystrydoedd, bwâu, &c. Felly gyda'n capelydd: tra y gadewir i bawb yn y cymoedd bychain, ac yn y trefi mawrion, ac ymhob man, ryddid i'w hadeiladu yn ol eu gwybodaeth neu eu hanwybodaeth eu hunain, y mae yn eithaf amlwg y bydd genym bob rhyw fath o gapelydd. Y mae yn lled eglur hefyd mai ffrwyth mympwyon o bob gradd fydd llawer o honynt.

Os ydym i gael capelydd effeithiol, rhaid i'r Gymdeithasfa gymeryd y mater i fyny. Nid ydym yn myned i awgrymu y priodoldeb o dynu llawer o'n capelydd presennol i lawr, er, fe allai, mai dyna fuasai y goreu. Ond gyda golwg ar y dyfodol, yr ydym yn credu y dylai fod Bwrdd ynglŷn â'r Gymdeithasfa, yn cael ei wneyd i fyny o ddynion medrus a deallgar, fel na oddefid i un capel gael ei adeiladu heb fod ei gynlluniau yn cael cymeradwyaeth y Bwrdd. Byddai hyn yn sicrwydd am gapelydd da rhagllaw. Fel y mae, y mae genym sicrwydd am rai o'r capelydd gwaelaf a welodd y byd. "God mend all," medd rhai, fe allai. Ond y mae yn llawer gwell genym ni gael bod gyda'r rhai hyny a ddywedant, "Nay, let us help Him to mend all." Y mae arnom eisieu diwygiad, onid oes? gadewch i ni roddi tipyn o help i'r diwygiad ddyfod; oblegid nid ychydig a allwn wneyd yn y ffordd hon.

O. J.

*T—— U——.*

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## AWGRYMAU I WRAGEDD GWEINIDOGION.

*Gan y Parch.* WILLIAM JAY.

CYNGHORAF chwi gyda golwg ar yr eglwys a'r gynnulleidfa ymha le y mae eich priod yn weinidog. Yma, fel efe, yr ydych chwi i fod "yn ensampl i'r ffyddloniaid mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, mewn ysbryd, mewn ffydd, mewn purdeb."

Na fydded i chwi byth ymddwyn mor neillduedig fel ag i ymddangos yn uchelfrydig a diystyrllyd tuag at neb o'r aelodau neu y rhai sydd yn arfer gwrando, ac yn enwedig rhai isel eu sefyllfa. Bydd ychydig o bartïaeth yn hyn yn sicr o beri'r sylw, "Llawer fydd yn caru'r cyfoethog." Dylai fod eich tuedd yn hytrach i'r ochr arall, nid yn unig am y bydd yn fwy o ogoniant i'ch crefydd, a chwithau yn ufuddhâu i'r gorchymyn am fod "yn gydostyngedig â'r rhai isel-radd," ond hefyd am y ceir llawer o ddeiliaid gras y nefoedd ymysg tlodion y byd hwn, ac nid ychydig o honynt yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn abl oddiar eu profiad eu hunain i wobrwyo eich cymdeithas â hwy.

Nac ymglymwch yn ormodol â neb. Bydd pleidgarwch at bersonau yn magu cenfigen ac yn cynhyrfu sylw anhyfryd. Prin y caniateir dangosiad o gyfeillgarwch i wraig y gweinidog, mwy nag iddo ef ei hun; o'r hyn lleiaf, cyfeillach agos a gwahaniaethol iawn. Mae hi yn sefyll yn yr un berthynas â llaweroedd, a rhaid iddi gymeryd sylw o'r cwbl, a bod yn barchus o honynt oll. Os nad all hi ymgadw rhag teimlo blaenoriaeth serch at rywrai yn neillduol, hi a all, hi a ddylai, ddysgu rheoli yr arddangosiad o hyny. Mae llaweroedd yn eich sefyllfa chwi, yn enwedig rhai o feddwl cul a dygiad i fyny isel, â chanddynt eu hanwylesau mynwesol, a'r rhai hyny yn bersonau digon annheilwng, casglyddesau holl newyddion yr eglwys, y gynnulleidfa, a'r gymydogaeth, y rhai a borthant y cyfryw wragedd gweinidogion â phethau a foddiant eu chwaeth neillduol, o'r hyn y maent yn dra hysbys. Ymogelwch rhag y tylwyth hyn sydd yn cario chwedlau. Cuchiwch arnynt. Gwnewch iddynt fferu i ddystawrwydd. Beth a ddywed y ddiareb? "Mae'r neb sydd yn derbyn eiddo lladrad cân waethed â'r lleidr." Beth a ddywedai y ffraeth a'r brathlym South? "Dylai yr enllibiwr a'r enllib-wrandawydd gael eu cosbi ynghyd; yn unig croger y naill wrth ei dafod, a'r llall wrth ei glust."

Wedi pob gocheliad o'r eiddoch, ni bydd bosibl i chwi beidio clywed llawer o bethau; ond rhaid i chwi eu clywed megys heb eu clywed, ac nid oes achos i chwi eu hailadrodd. Na fyddwch ddrwgdybus, ac na fyddwch ychwaith yn rhy rydd-agored. Na roddwch eich hun trwy hyder annoeth yn ngafael neb. Na fradychwch gyfrinachau, yr adroddiad o ba rai a all eich gosod mewn profedigaeth neu mewn gwaradwydd.

Cedwch eich hun yn ddigon pell oddiwrth bob anghydfod a ddygwyddo fod yn nheuluoedd eich pobl, ac oddiwrth bob ymrafael a allo godi yn yr eglwys neu'r gynnulleidfa. Heb i chwi wylio yn ofalus, gellwch, o herwydd eich lle, gael eich tynu i mewn i un blaid; ac wedi i ferch gymeryd ei hochr, i'r hyn yn gyffredin na chymerir llawer o amser, mae hi yn dueddol i ddangos mwy o annoethineb nag o anghywirdeb, ac yn fynych yn teimlo ac yn

siarad mwy nag y gall egwyddor, neu o'r hyn lleiaf callineb, ei gyfiawnhâu. Byddwch yn debyg i'r Iesu, pan yn dywedyd, "Pwy a'm gosododd i yn farnwr neu yn rhanwr arnoch chwi?" Na chaffer chwi byth yn sefyll o flaen llys eglwysig. Gadewch y cyfryw faterion i'r rhai y perthynant, y rhai y rhoed awenau llywodraeth iddynt. Sylwais bob amser fod gwraig gweinidog yn cael ei pharchu a'i chanmawl os ceid hi yn ymgadw oddiwrth ymryson a thuedd ymyrgar, ac yn aros gyda dyledswyddau ei chylch priodol ei hun. Gwell ymneillduo ac wylo a gweddïo nag ennill sylw a chanmoliaeth pobl gynhenus. "Pwy sydd" wraig "ddoeth a deallus? Dangosed trwy ymarweddiad da ei gweithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb. Canys lle mae cenfigen ac ymryson, yno y mae terfysg a phob gweithred ddrwg. Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd a diragrith. A ffrwyth cyfiawnder a heuir mewn heddwch i'r rhai sydd yn gwneuthur heddwch."

Yn yr ymweliadau a roddir ac a dderbynir genych, byddwch barod bob amser i ddwyn ymlaen ymddyddan crefyddol. Dangoswch mai dyna yr elfen fwyaf cydweddol â'ch ysbryd chwi. Bydded pethau yn hytrach na phersonau yn cael eich siarad cyffredin. Yn enwedig, na chaffer chwi yn cablu neb, eithr, fel y darlunir y wraig rinweddol, "Cyfraith trugaredd sydd ar ei thafod hi." Yn eich ffordd gyffredin byddwch yn hytrach yn dawedog, ac nid yn debyg i fod yn wâg-siaradus. Y mae genym lawer wedi sylwi yn dda, medd yr Archesgob Tillotson, ar ragoroldeb dawn ymadrodd; ond y mae eisieu sylwi bellach ar ragoroldeb dystawrwydd. "Yn amlder geiriau ni bydd pall ar bechod." Heblaw yr Ysgrythyr, y mae natur yn dysgu i ni y wers hon. Rhoes i ni ddwy glust, a dim ond un tafod; ac y mae'r clustiau yn wastad yn agored, ond yn hawdd y ceuir yr offeryn arall—yr hyn sydd yn dywedyd, "Byddwch esgud," cyflym, "i wrando, a diog i lefaru." Pwy a all ddarllen geiriau yr Iesu, "Am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif ddydd y farn," a pheidio gweddïo, "Gosod, Arglwydd, gadwraeth o flaen fy ngenau; cadw ddrŵs fy ngwefusau." Os yw eich cysylltiadau yn rhoddi i chwi fwy o gyfleusderau a chymhyrfiadau i siarad nag i eraill, o gymaint â hyny y mae yn fwy angenrheidiol fod "eich ymadrodd bob amser yn rasol, wedi ei dymheru â halen." Yr wyf yn gwasgu y mater hwn arnoch o herwydd ei bwysigrwydd arbenig ac anghofiedig.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD X.

*Y Pwnc o Addysg.*

Yr wyf yn cofio yn eithaf da beth oedd yn myned trwy fy meddwl pan oeddwn yn myned adref ar gefn Bob ar ol y gurfa ddigyffelyb a gawswn gan yr Hen Sowldiwr, a hyny ydoedd: A gawn i gurfa arall gan fy mam, tybed, wedi iddi glywed am fy nireidi? Gofynais y cwestiwn i Bob; a sicrhaodd yntau fi na fyddai anghen fy nghuro mwyach am flwyddyn o leiaf. Er fy mod dan fy nghlwyfau, yr oedd y syniad fod y gosbedigaeth drosodd yn un hapus. Rhedai fy meddwl at Bryan a Beck. Druain oeddynt! yr oedd y gosbedigaeth yn eu haros hwy, os nad gan y Sowldiwr, eto gan eu rhieni yn sicr. Myfi yn wir a wnaethpwyd yn fwch diangol iddynt yn yr ysgol, ond yr oedd y gosb drosodd; a theimlwn erbyn hyn fy mod yn fwy ffodus na hwy. Onid hyn ydyw fy mhrofiad ymhob cyfnod ar fy oes? Onid ydyw y prawf bychan sydd yn fy aros yn llawer mwy yn fy ngolwg na'r prawf mawr sydd wedi myned heibio? Ni ddygwyddodd i Bob feddwl gofyn i mi pa ddrwg a wnaethum i haeddu fy nghuro mor dost gan y meistr; ond dyna oedd y cwestiwn cyntaf a ofynwyd i mi gan fy mam ar fy mynediad i'r tŷ. Nid oeddwn erioed wedi arfer celu dim o'r gwir oddiwrthi, ac adroddais dan wylo yr hanes am rwymo y goes bren yn yr Eglwys. Nis gallwn beidio gweled fod Bob yn mwynhâu yr adroddiad yn fawr, ond fel arall yr effeithiai ar fy mam; ac o'r braidd y gallodd Bob fy arbed rhag cael curfa arall. Pa fodd bynag, pan aeth fy mam i fy chwilio, a chanfod y gwrymiau cochion ar bob rhan o fy nghorff, newidiodd ei thôn yn rhyfeddol, a dangosodd yn ddigon eglur ei bod yn perthyn yn lled agos i mi.

Yr wyf yn cofio cystal â phe buasai hi ddoe fy mod yn edrych arnaf fy hunan fel un wedi dyfod trwy lawer, ac yn teimlo rhyw fath o foddhâd fod genyf gleisiau ar fy nghorff, y rhai oeddynt yn sicrhâu cydymdeimlad fy mam. Ond yr oeddwn yn synu ei bod hi yn beïo can lleied ar y Sowldiwr. Nid wyf yn synu at hyny heddyw; oblegid ei hamcan yn ddiammheu oedd argraffu ar fy meddwl fy mod yn haeddu y cerydd. Dywedai fy mod yn fachgen drwg, ac wylai yn hidl, a meddyliwn mai oblegid fy mod mor ddrwg yr oedd hi yn wylo. Yr wyf yn sicr erbyn hyn mai am fod cleisiau ar fy nghorff yr oedd hi yn colli dagrau. Llefarodd lawer o bethau nas gallaf yn awr eu dwyn i'm

cof; ond yr wyf yn sicr ei bod wedi dywedyd y rhai hyn, "Fod rheswm hyd yn nôd mewn rhyfel—fod gwahaniaeth rhwng curo plentyn âg ymladd yn erbyn Boni—nad oedd coes bren ond coes bren wedi'r cwbl." Ond yr ymadrodd mwyaf cysurlawn a ddisgynodd ar fy nghlust oedd fy mod wedi cael llawn ddigon o ysgol—fy mod wedi bod dan addysg am agos i flwyddyn gron, ac fod yn hen bryd i mi feddwl am ddechre gwneyd rhywbeth. Dywedodd fy mam unwaith ac eilwaith fod gormod o ddysg yn andwyo plant, ac wedi arwain ambell un i'r crogbren. Ychwanegodd na chafodd hi erioed ddiwrnod o ysgol oddieithr Ysgol Sul, ac na wariwyd ceiniog erioed ar addysg fy nhaid a fy nain, a'u bod hwy yn gwybod "be' oedd be'," ac wedi cael gafael ar y gwirionedd—yn ddisôn am danynt, yn barchus gan eu cymydogion, ac wedi marw mewn tangnefedd.

Yr oedd fy mam yn ddynes o dymherau cryfion, ac yn hynod dafodrydd. Mae yn rhaid fod ganddi hefyd gof rhagorol, oblegid byddai bob amser yn *clensio* yr hyn a ddywedai gydag adnod o'r Bibl, neu bennill o eiddo y Ficer Pritchard, neu y bardd o'r Nant, er mai anaml y dyfynai o'r olaf heb ychwanegu, "Gresyn na fuasai Thomas wedi cael gras." Ar yr amgylchiad presennol, cyfeiriodd fy mam feddwl Bob a minnau at amryw o ddiarebion Solomon, tra yr oedd hi yn frysiog yn gwisgo ei chlôg a'i bonet fawr; ac yna aeth allan. Edrychodd Bob trwy y ffenestr i weled i ba gyfeiriad yr elai, a dywedodd, "Rhys, mae mam, wel di, yn myn'd i roi y Sowldiwr trwy'r *drill*. Gâd i ni gael hanes y goes bren yna drosodd eto." Aethum dros yr hanes eilwaith, ac y mae yn rhaid i mi addef fy mod yn gallu ei adrodd yn llawer rhwyddach yn absennoldeb fy mam. Prin yr oeddwn wedi gorphen pryd y dychwelodd. Edrychai yn dawelach na phan aeth allan, ond yn llawer mwy prudd a gofidus. Wedi iddi ddadwisgo ei chlôg a'i bonet, ac eistedd i lawr a sychu ei llygaid gyda'i ffedog, cymerodd yr ymgom ganlynol le—hyny ydyw o ran sylwedd, ac, mor agos ag y gallaf gofio, o ran geiriau hefyd:—

"Bob," ebe fy mam, "a pheidio sôn am y brofedigaeth a gês hefo dy dad, dyma y diwrnod mwya' prudd fu dros 'y mhen i 'rioed. Yr oeddwn wedi gobeithio pethe gwell am danat ti, a phethe ynglŷn wrth iechydwriaeth. Yr oeddwn i wedi meddwl y baset ti yn dipyn o swcwr i mi. Ond tra yr oeddwn i yn tybio fod yr hâd da yn ffynu, wele yr efrau yn ymddangos. Y gelyn ddyn a wnaeth hyn."

Byddai fy mam yn gyffredin, fel y sylwais o'r blaen, yn siarad mewn ieithwedd ysgrythyrol. Er fod cadair yn ei ymyl, yr oedd Bob, yn ol arfer y glöwyr, yn eistedd ar ei sodlau, a'i gefn yn pwyso ar bôst y pentan; ac mewn atebiad i fy mam dywedodd,

"Wel, mam, beth sydd yrwan? Mae y gelyn ddyn neu Satan bob amser yn eich blino; a gallai un feddwl oddiwrth eich siarad nad ydyw yr hen frawd hwnw yn cael hamdden i feddwl nac i sylwi ar neb na dim ond arnom ni fel teulu, oblegid nid oes dim yn dygwydd yn ein hanes o fore tan nos nad ydych yn gweled rhyw ymyriad o eiddo y diafol âg ef o hyd. O'm rhan fy hun, os felly y mae pethau yn bod, yr wyf yn meddwl y dylai bellach roi tro at rywun arall, oblegid 'does gen' i ddim awydd am ei gymdeithas; waeth gen' i pe bae ei ddwy glust yn clywed. A pheth arall, nid wyf yn gweled fod dim yn ein teulu ni ag sydd yn galw am sylw mor neillduol o eiddo'r diafol ag a briodolir iddo genych chwi; a fy syniad i ydyw fod yn rhaid ei fod yn esgeuluso cryn lawer ar ei waith gyda phobl eraill, llawn mor deilwng o'i sylw ag ydym ninnau; oblegid nid ydyw yntau, er clyfred ydyw, ond meidrol wedi'r cwbl."

"Bob," ebe fy mam, "mae yn ddrwg gen' i dy glywed di yn siarad mor ysgafn am bethau mor bwysig. Nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef, yr hwn sydd fel llew rhuadwy yn rhodio oddiamgylch gan geisio y neb a allo ei lyncu. Yr hyn a fawr ofnais a ddaeth arnaf. Yr ydw i wedi dyweyd a dyweyd lawer gwaith y byddai i'r papyr newydd yna, sydd â'i hanner yn gelwydd, dy andwyo yn sicr; ac eto mi fyni fod â dy ben ynddo o hyd yn lle bod yn darllen dy Fibl. Pan oeddwn i yn hogen, 'doedd fawr son am bapyr newydd oddigerth gan ŵr y plâs, a rhyw ychydig o Saeson dienwaededig, tylwyth y coegddigrifwch a'r cwn hela. 'Doedd neb â rhyw gownt o'u henaid yn meddwl am ddarllen dim ond y Beibil, *Pererin* Bunyan, *Geiriadur* Charles, a llyfr Gurnal. Ond yrwan, ysywaeth, mae gan bawb ei bapyr newydd a'i lyfr Saesoneg, nad ŵyr neb beth sydd ynddo. A beth ydi'r canlyniad?—cenedl ddiofn Duw, ddiorchwyliaeth, falch, rodresgar, yn meddwl mwy am grandrwydd nag am fater bywyd—yn gwybod mwy am bob lleidr nag am y lleidr ar y groes, ac am bob marwolaeth nag am y farwolaeth oedd yn fywyd i'r byd. Dyna ydi'r ffrwyth i ti, Bob."

"Yr ydych yn cyfeiliorni, mam," ebe Bob; "nid ffrwyth darllen y papyrau newyddion ydyw y pethau yr ydych chwi yn sôn am danynt, ond ffrwyth calon lygredig; ac y mae yr apostol yn gorchymyn, 'Glŷn wrth ddarllen.'"

"Ydyw, fy machgen," ebe fy mam;

"y mae'r apostol yn gorchymyn felly, ond darllen pa beth? Nid y papyr newydd, ond yr Ysgrythyr Lân, yr hon sydd yn abl i'th wneuthur yn ddoeth i iechydwriaeth; ac y mae yr un apostol yn dyweyd, 'Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros;' a sut y mae yn bosibl i ti na neb arall aros yn y pethau tra 'rwyt ti â dy drwyn yn y papyr yn feunyddiol? Ymgroesa, 'machgen i, ymgroesa!"

"Mae yr oes yn myned yn ei blaen, mam," ebe Bob; "ac ni wiw i chwi feddwl i bethau aros fel yr oeddynt pan oeddych chwi yn hogen."

"Yn 'i blaen!" ebe fy mam mewn llais uchel. "Ydi yn gyflym ddigon; ond i ble mae hi'n myn'd, tybed? Ydi hi yn myn'd yn nês i'r nefoedd, os gwn i? Oes mwy o flâs ar foddion gras nag a fydde? oes mwy o wrando yr efengyl ac o gerdded ar ol gweinidogion y gair? Fyddi di yn gwel'd pobol y dyddie hyn ar adeg cnaua yn gadel eu gorchwylion ar ganol dydd glân gole i fyn'd i wrando'r gŵr diarth? Choelia i fawr? Mae'n well gynyn' nhw rŵan fyn'd i'r consyrt a'r cyfarfod cystadleuol i guro traed ac i waeddi 'Hwre!' ac 'enco' ar ol cân ddigri, nag i'r bregeth i waeddi Haleliwia a Gogoniant am râd ras. Os dyna be' di myn'd yn 'i blaen, yn 'i hol yr elo hi, medda i, Bob."

"Yr adeg yr ydych chwi yn cyfeirio ati," ebe Bob, "yr oedd yr efengyl yn newydd yn Nghymru, ac yr oedd y bobl o anghenrheidrwydd yn teimlo mwy o ddyddordeb ynddi; ond erbyn hyn yr ydym wedi hen gynnefino â'r gwirionedd; a gadewch i ni obeithio nad oes llai o wir grefydd yn y wlad."

"Newydd! wyt ti'n gwybod am be wyt ti'n siarad, dywed?" ebe fy mam mewn tipyn o dymher; "ond dydi'r efengyl mor newydd heddyw ag y bu hi erioed i'r rhai sydd yn teimlo 'i hanghen? 'Rhyw newydd wyrth o'i angeu drud a ddaw o hyd i'r gole.' Newyddion da o lawenydd mawr ydi'r efengyl, ac a fydd hi byth. Na, dyn a'n helpio ni 'mhen miloedd o oesau, os 'hen gynnefino' sydd i fod. Ac yr ydw i yn synu atat ti, Bob, yn siarad fel yna, bachgen sydd wedi darllen cymin'. 'Doedd yr efengyl ddim yn newydd fel pwnc—'roedd hi yn Nghymru er cyn co'—ond y bobol oedd wedi cael calon newydd, ysbryd newydd a blâs newydd arni trwy ddarllen y gair, gweddïo Duw, a chael tywalltiad o'r Ysbryd Glân. Ond yrŵan, fel y deydais i, mae pobl yn darllen y papyr yn lle'r Beibil, ac yn cael mwy o flâs ar y consyrt a'r 'steddfod nag ar foddion gras; a 'does dim lle i ddysgwyl bendith ac arddeliad ar y weinidogaeth tra y bydd pethe yn aros fel hyn."

"Rhaid i chwi addef, mam," ebe Bob, "fod mwy o wrando'r efengyl yn awr nag a fu erioed; fod genym fwy o gapelydd a chyfleusderau crefyddol, a mwy o weinidogion yn pregethu'r efengyl yn Nghymru nag a fu erioed o'r blaen. Yr adeg yr ydych chwi yn cyfeirio ati, nid oedd ond ychydig boblach dlodion ynglŷn â'r achos, ac nid oedd ein pregethwyr yn gyffredin ond dynion plaen, anwybodus, a diddysg. Ond yn awr y mae ein pobl oreu a mwyaf *respectable* yn grefyddwyr, a'n gweinidogion gan mwyaf yn ddynion coeth a dysgedig."

"Gwir a ddywedaist, Bob," atebai fy mam, "fod mwy o wrando; ac y mae genym le i ddiolch am hyny; ond y pwnc ydi, Oes mwy o gredu? Mae lle i ofni—gobeithio mod i'n camgymeryd—fod crefydd y dyddie hyn yn fwy o ffasiwn nag o fater bywyd. Mae llawer, yr wyf yn ofni, yn dyfod i'r capel, nid i geisio gweled yr Iesu, fel y Groegwyr hyny gynt, ond i gael eu gweled gan eraill; ac y mae ein cynnulleidfa yn aml yn debycach i ardd flode nag i bobol wedi dyfod i wrando'r efengyl. 'Poblach dlodion,' mae'n wir, oedd gyda'r achos ar y dechre, fel y clywes dy nain yn adrodd, ac fel y gwelais fy hunan i raddau; ond yr oeddan nhw, wel di, yn gyfoethogion mewn gras ac yn etifeddion bywyd. Faint fedri di enwi o'r bobl *spectacl* yma, fel 'rwyt ti yn 'i galw nhw, sydd yn enwog mewn gras a duwioldeb, ac yn arswyd i annuwiolion y gymdogaeth? Fyddi di yn gweled y meddwon a'r segurwyr weithie yn llechian i'w tyllau pan fydd un o'r bobl *spectacl* yn dyfod i'r golwg, fel y gwelais i nhw'n gwneyd o flaen y boblach dlodion? Ac am y capelydd crand yma, 'mae nhw yn gyfleus iawn 'rwyf yn adde; ond wyddost ti be? mi fydd gen i ofn yn amal—gobeithio mod i'n misio—y bydd mwy o ddiolch yn y nefoedd am y sguborie a'r tai annedd nag am danyn' nhw. Mi ddaru i ti mrifo i dipyn, Bob, wrth siarad mor ddiystyrllyd am yr hen bregethwyr. 'Rwyt tithau, mi wela, fel llawer o bobol yr oes hon, wedi dysgu siarad yn isel am weision yr Arglwydd. Dynion 'plaen a diddysg' oeddan nhw, mae'n wir; ond paid di a'u galw yn anwybodus yn 'y nghlyw i, gore i ti. Yr oeddan nhw wedi eu dysgu i deyrnas nefoedd, Bob; ac am y Beibil, yr oedd hwnw ar bene'u bysedd. A lle medri di gael eu hecwal nhw y dyddie hyn?"

"Nid oedd dim pellach o fy meddwl, 'mam," ebe Bob, "na siarad yn ddiystyrllyd am yr hen bregethwyr. Yr oeddynt yn ddynion da a duwiol yn ddiammheu; ond ni fuasent yn gwneyd y tro yn yr oes hon pan y mae addysg wedi gwneyd y

fath gynnydd, a'n cynnulleidfäoedd gymaint yn fwy coethedig nag oeddynt y pryd hyny."

"Gwneyd y tro!" ebe fy mam, gan godi ei llais; "gwneyd y tro i bwy wyt ti'n feddwl? Yr oeddan nhw yn gwneyd y tro i Dduw y pryd hyny, a siŵr ddyn na neuthe nhw'r tro i nine yrŵan. Gwneyd y tro yn wir! fase dim yn well gen' i nag i un o honyn nhw gael caniatâd i dreio. Dase yr hen Lecheiddior yn cael caniatâd am unwaith eto, welaist ti 'rioed ffaswn helynt fase yma. Wyddost ti be? mi fase un o'r hen bregethwyr yn rhoddi cynnulleidfa ar dân—y bobol *spectacl* a phawb, tra base llond gwagen o'r *students* yna yn palfalu am 'u cadach poced!"

"Yr ydych bob amser yn rhagfarnllyd yn erbyn y *students*, ac yn wir yn erbyn addysg, mam," ebe Bob; "ond ni wiw i chwi wingo; mae y dynion goreu a feddwn yn ysgoleigion gwych, ac yn gwneyd eu goreu dros addysg, ac yn enwedig dros roi addysg i bregethwyr. A beth a ddaethai o honom erbyn hyn oni buasai am ein dynion dysgedig? rhai o honynt yr ydych chwi eich hunan yn meddwl yn uchel iawn am danynt."

"Y fi yn erbyn addysg, Bob; nac ydw i, yn neno dyn. Ond mi ddeyda hyn, nad oes eisieu rhoi addysg uchel i blant tlodion; ac mai nid addysg sydd yn gwneyd pregethwr, onidê Dic Aberdaron, y sgoler mwya' fu yn y byd erioed, fase'n gneyd y pregethwr gore. Ond dyn a'i helpio, hefo'i gathod a'i fudreddi! Mae addysg yn dda lle mae ei heisieu, ac os bydd hi wedi ei sancteiddio â gras, ne' melldith ydi hi i bawb, goelia i."

"Yr oedd Paul," ebe Bob, "eich ffrynd mawr, yn ysgolaig gwych; ac ni fuasai byth yn gallu gwneyd yr hyn a wnaeth oni bae ei fod yn ysgolor mor dda."

"Sut wyt ti yn gallu profi hyny?" gofynai fy mam; "dydi 'i fod o wedi bod yn eistedd wrth draed Gamaliel ddim yn dyweyd ei fod yn ysgolor mawr. Paid ti a meddwl, os wyt yn dallt policits, dy fod di yn dallt dy Feibil yn well na dy fam. Ond y tro ar y ffordd i Damascus wnaeth Paul yn fawr; 'doedd o yn fawr mewn dim cyn hyny ond fel erlidiwr; a faset ti na mine byth yn clywed gair am dano oni bae am y tro hwnw. A mi ddeyda i ti beth arall; pris bach oedd Paul yn ei roi ar 'ddoethineb ddynol,' a bydase rhywun yn myn'd i'w wneyd o yn *Ddoctor* ne' *Fistar o Barts*, mi fase yn dyweyd wrthyn' nhw'n union, 'Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio.' Yr oedd yn fil gwell ganddo y teitl Paul gwas yr Arglwydd na Doctor Saul o Tarsus. Wyddost ti be'? 'does gen i ddim 'mynedd gwrando arnat ti ac eraill yn sôn am addysg, ac addysg fyth a hefyd, fel pe bydde addysg yn gallu gwneyd y môr a'r mynydd, ac yn gwneyd y tro yn lle gras Duw. Ydi addysg, os gwn i, yn dysgu rhai i aumharchu hen bobol? 'Dydi gras ddim yn dysgu felly, mi wn i hyny."

"At beth yr ydych yn cyfeirio, 'mam," gofynai Bob.

"Mi wyddost o'r gore at beth 'wy'n cyfeirio, mi dy waranta di. Ai y papyr newydd, yr hwn sydd yn goleuo y wlad, fel yr wyt yn dyweyd, a dy ddysgodd i faeddu hen ŵr wedi colli aelod wrth ymladd dros ei wlad? Bob, 'rwy'n rhyfeddu atat! Ddysgwyliais erioed y baset ti, bachgen na chafodd ddiwrnod o ysgol, yn dwyn gwarth ar yr achos a chywilydd i wyneb dy fam. Dos i ymofyn pardwn yr hen ŵr ar unwaith, rhag dy gywilydd."

"Ymofyn ei bardwn," ebe Bob, "na wnâf byth. Os oeddwn wedi gwylltio tipyn, wneis i ond fy nyledswydd ato fo; ac os byth y gwelaf yr Hen Sowldiwr neu rywun arall, pe bae gymaint a chawr, yn maeddu Rhys mor ddidrugaredd ag y gwelais i ef yn 'i chael hi heddyw, nid y fi ydyw ei frawd os na wnaf yr peth ag a wneis gynneu, os bydd yn fy ngallu. Mae natur yn fy nysgu i wneyd hyny."

"Nid y natur lygredig sydd i dy lywodraethu, fy machgen," ebe fy mam yn bruddaidd, "ond yr anian newydd. Y mae'r gair yn dyweyd yn bendant, 'Nid yn darawydd.'"

"Adnod i esgob ac nid i golier ydyw honyna, 'mam," ebe Bob.

"Bob," ebe fy mam, "mae dy galon wedi caledu. Ddaru mi ddim meddwl fod y papyr newydd a'r llyfrau Saesneg yna wedi cael y fath effeth arnat ti. Mae yn dda gen i erbyn hyn, er i mi wneyd hyny mewn tipyn o ffrwst, fy mod wedi galw hefo Abel Hughes i ddyweyd yr hanes wrtho cyn i neb arall ei ddyweyd, a'i annog i gael ymddyddan â thi yn y seiat nos yfory. Os ydi pobol eraill am gelu anufudd-dod a drygioni eu plant, dydw i ddim. Gweddïa am ras, y 'machgen i;" a dechreuodd wylo, a chladdu ei hwyneb yn ei ffedog, yr hyn a fyddai bob amser yn rhoddi terfyn ar wrthddadleuon Bob.

Er ei bod yn ganol dydd goleu, anfonwyd fi i'r gwely i ymiachâu o fy nghlwyfau. Gan na fedrwn gysgu, myfyriais a dychymygais lawer ar un gair a ddywedodd fy mam wrth Bob, "Y brofedigaeth a gês hefo dy dad." Beth a allasai ystyr hwnw fod?

---

# Darlleniadau Detholedig.

### YMFFROSTIO YN Y GROES.

Pell oddiwrthyf, medd Paul, a fyddo ymffrostio mewn dim ond yn nghroes Iesu Grist, o herwydd ni feddaf gyfoeth ond sydd yno.

"Dacw fy Nuw, dacw fy Mhen,
Ac oll a feddaf, ar y pren."

Llosgodd tân Sinai fy holl ymffrost Iuddewig; ond yma yn y groes y mae genyf fodd i fyw eto. Ac y mae y fath ardderchogrwydd yn y wybodaeth yr wyf yn ei darllen yn narlithoedd y groes, nes yr wyf fi, gyda'r angylion, a'r holl saint, yn synu wrth edrych ar y cyfansoddiad cyfammodol a barodd ddwyn y Gair tragywyddol yn fy natur i farw dan hoelion ar bren, lle y cyfarfu y cyfoeth cyflawnaf a'r tlodi llwyraf, y gwendid rhyfeddaf a'r cryfder mwyaf, y felldith drymaf a'r cariad grymusaf, yr ing dyfnaf a'r fuddugoliaeth uchaf. Ar y groes yr yspeiliwyd y tywysogaethau a'r awdurdodau, ac y buddugoliaethwyd arnynt oll gan Fab Mair. Heblaw hyny, medd Paul, ac medd pob cristion, nid yw effaith y groes wedi darfod. Yr wyf yn teimlo rhyw sugn ynddi, a rhyw attyniad dirgel, eto anorchfygol, sydd yn anghymhwyso fy nghalon i garu y byd fel cynt. Yr wyf yn teimlo megys hoelion yn fy nal gerfydd fy nghalon gyda chroes Crist, a phob hoel wedi ei throchi mewn olew cariad rhad, fel na fynwn dynu yr un o honynt ymaith, oblegid y maent yn dygymmod â'm calon. Y maent fel y belen blwm a gafodd llawer milwr, yn aros yn ei gnawd heb boen tra y byddo; byddai mwy o boen eu tynu ymaith. Mae peleni a hoelion cariad yn fy nghalon er ys meithion flynyddau, ac ni fynwn eu colli. Ac y mae holl chwantau y byd megys dan hoelion, fel hen ddyn i bydru a marw; ac y mae wedi colli ei degwch yn fy ngolwg; canaf yn iach iddo. Yn nghroes Crist yr wyf yn gweled modd i'm codi o'r domen, i eistedd gyda phendefigion Duw.—*Christmas Evans.*

---

### IACHAWDWRIAETH DRAGYWYDDOL.

Y mae yr iachawdwriaeth yn sefydlu dedwyddwch mor uchel, yn codi ei gwrthddrych i fyny i ddedwyddwch mor berffaith wedi iddi gael gorphen ei gwaith, fel y bydd hwnw yn ddedwyddwch gwerth rhoi tragywyddol barhâd iddo. Nid oes dim mwyniant yn y byd hwn yn werth rhoi oes dragywyddol iddo. Nid oes yma neb yn mwynhâu nad ydyw yn dyoddef llawer. Os oes genym bethau melusion yn ein cwpanau, y maent yn gymysgedig â phethau chwerwon. Y mae yma gysuron i'w mwynhâu trwy lawer o gysylltiadau; ond y mae amryw bethau i'w dyoddef hefyd drwy yr un cysylltiadau. Nid oes yma un bibell yn cario dwfr cysur na rêd drwyddi ddyfroedd chwerwon iawn. Felly yr ydwyf fi wedi cael y byd hyd nes yr wyf bellach wedi myned i beidio dysgwyl fawr iawn oddiwrtho. Ond yr wyf yn dymuno troi fy ngolwg i'r byd arall, gan edrych am ddedwyddwch at wrthddrychau uwchlaw y byd hwn. O Arglwydd, gâd i ni gael ein diddyfnu oddiwrth y dedwyddwch darfodedig yma; sefydlu ein bryd ar y gwrthddrychau sydd tu draw i'r llen! Ond am ddedwyddwch yr iachawdwriaeth wedi iddi hi gael gwneyd ei gwaith ar ei gwrthddrychau, fe fydd hwn yn ddedwyddwch mor berffaith fel y bydd yn werth rhoi oes dragywyddol iddo. Byddai yn *bity* diffodd y dedwyddwch perffaith hwn; byddai yn resyn ei golli wedi ei godi i fyny mor uchel. Y mae dedwyddwch yr iachawdwriaeth yn gadael ei gwrthddrych ynddo ei hun yn ddedwydd. Dyma ddedwyddwch nad oes dim modd chwanegu ato; fe fydd dy lestr yn llawn, yn mwynhâu Duw i dragywyddoldeb, ymhyfrydu yn yr Hollalluog ei hunan, cynnal cymundeb âg ef yn ddidòr, teimlo dy hun yn gyfoethog byth yn ei gyfoeth mawr Ef, teimlo mai Efe yw ffynnon ddihysbydd dy ddedwyddwch, ac ymddigoni felly yn ei ddaioni anfeidrol. O y mae hwn yn ddedwyddwch na fedrwn ni mo'i ddarlunio. Wedi i hwn gael ei godi i fan sicr, y mae yn werth rhoddi oes dragywyddol iddo. Nid yw dedwyddwch uchaf y ddaear yma yn werth ei gynnal i fyny yn hir; ac nid oes fawr o golled i neb ar ei ol oddieithr i'r rhai a gânt fyned i'r trueni. Gwared ni, O Arglwydd, rhag myned i'r lle ofnadwy hwnw!

Heblaw hyny, mi feddyliwn fod yr iachawdwriaeth, drwy ei bod yn dragywyddol, yn dyfod yn ddigon o reswm dros ymddarostyngiad mawr yr Arglwydd Iesu Grist yn dyfod i'n natur, a dyoddef a marw yn ein lle. Buaswn i yn gweled tipyn o reswm yn ngwrthddadl yr *infidel* oni buasai hyn, sef, fod yn afresymol i'r Duw mawr anfeidrol dalu cymaint o sylw i'n byd bychan ni—(un o'r rhai lleiaf ydyw yr hen ddaearen yma hefyd)—fel ag i anfon ei Fab i wisgo natur dyn, ac i ddyoddef a marw yn ei le. Yn wir, buaswn innau yn ei weled braidd yn ormod o sylw i'w dalu i'r hen ddaear, yn wastraff ar drugaredd, yn beth anmhriodol yn y greadigaeth, oni byddai fy mod yn deall i Grist, drwy ymddangos yn y cnawd a dyoddef a marw, osod i lawr sail a sicrhâu "iachawdwriaeth a fydd byth;" iachawdwriaeth heb ddim diwedd i fod arni. Y mae bywyd tragywyddol un enaid o werth anfeidrol; y mae dedwyddwch tragywyddol un enaid yn fwy gwerth nag ydyw dedwyddwch yr holl greadigaeth i gyd. Dedwyddwch tragywyddol un enaid! nid oes dim posibl dyweyd ei werth; a pha beth am fywyd tragywyddol miliynau, ie, miliynau o filiynau? Mae Iesu Grist wedi sicrhâu hyny trwy ymddangos yn y cnawd, a thrwy ddyoddef a marw; ac fe aeth drwy y cwbl mewn amser byr. Ni bu efe ddim ond tair blynedd ar ddeg ar hugain yn sicrhâu bywyd tragywyddol ddedwydd i filiynau dirif; ac y mae yn dda genyf allu dywedyd nad ydyw efe ddim gwaeth wedi darfod ychwaith; ni

chollodd efe ddim; y mae mor ddedwydd a gogoneddus ag erioed. Yn foliannus y byddo ei enw byth! Ni chollodd efe ddim yn yr anturiaeth fawr; ond efe a ennillodd hyn gyda brys: bywyd tragywyddol tyrfa fawr na ddichon neb eu rhifo. Yr wyf yn edrych ar hyn yn ddaioni mor fawr, mor werthfawr, fel nad oedd yn bosibl i Dduw wario gormod arno ond yn unig iddo gadw ei garitor; ac efe a wnaeth hyny. Dyma yr ateb y mae'r Bibl yn ei roddi am ddyfodiad y Messiah: "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dyna hi wedi ateb yn *right noble*. Beth bynag oedd mawredd y darostyngiad a dyfnder y tlodi, beth bynag oedd ing a chwŷs yr ardd, beth bynag oedd angeu dirmygedig a phoenus y groes, y maent wedi ateb dyben teilwng o'r aberth mawr i gyd, sef, caffael bywyd tragywyddol i dyrfa aneirif. Y mae yma bob peth yn iawn, a'r dyben yn deilwng o'r holl ddarpariaeth, sef, uchel ogoniant mynegol i Dduw oddiwrth y cwbl.—*John Jones, Talysarn.*

---

### TEULU DUW.

Y MAE'R saint yn berthynasau agos i'w gilydd—yn deulu Duw; ac y mae gan deulu achosion penodol iddynt eu hunain; maent yn ymdeimlo â pherthynas, yn caru eu rhieni a'u brodyr a'u chwïorydd. Dyma y berthynas uchaf mewn bod: teulu Duw. "Y rhai a gysylltir â'r Arglwydd, un ysbryd ydynt." Y mae yma undeb fel y sydd rhwng y Tad a'r Mab. "Fel y byddont un megys yr ydym ninnau yn un." Nid yw'r teulu breninol yn ymgyfeillachu â'r cyffredin; maent yn meddwl yn uchel o'r gwaed tywysogaidd. Dyma deulu breninol mewn gwirionedd: teulu Duw; ac nid ydynt i gyfeillachu â'r bobl isel gyffredin sydd yn byw yn ol helynt y byd hwn. "Deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan." Mae gwahaniaeth dirfawr rhwng teulu Duw a theulu y diafol—y teulu breninol a theulu y pengwrthryfelwr. "Pa gyfeillach sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder? a pha gymundeb rhwng goleuni a thywyllwch? a pha gysondeb sydd rhwng Crist a Belial?" Y mae teulu Duw yn un yn eu dyben o fyw i fynegu rhinweddau yr Hwn a'u galwodd, ac yn eu hymestyniad parhâus am fod yn debyg iddo a chael ei fwynhâu. Mae undeb dyben yn eu gwasgu at eu gilydd yn awyddus am gymdeithasu â'u gilydd, i gael mantais i adrodd eu teimladau; ac O mor ddifyrus yw mynegu i'w gilydd am eu llwyddiant—am y daioni a dderbyniasant!

Teulu y ffydd yw'r saint; maent yn byw trwy ffydd, yn byw ar bethau y byd arall. "Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, eithr ar y pethau ni welir." Y pethau a welir ydyw pethau'r dyn anianol, sydd â'i ran yn y bywyd yma. Mae'r saint yn ddyeithriaid a phererinion ar y ddaear; ac y mae gwahaniaeth rhwng dyn yn byw yn dawel yn ei wlad ragor pererin ar ei daith i wlad arall. Mae'r brodor yn gwneyd ei gartref ynddi heb feddwl am wlad arall; nid oes ganddo un meddwl am symud i fyw o'i hen gartref. Ond am y pererin, y mae efe ar ei daith; nid yw yn gwneuthur ei gartref yn un màn; am fyned ymlaen y mae efe, gan fod ei gartref mewn gwlad arall. "Gwlad well y maent hwy yn ei chwennych, hyny ydyw un nefol." Nid oes gan y pererin nemawr ddifyrwch i eistedd i lawr gyda'r brodorion i ymddyddan am yr hen wlad; ei hyfrydwch sydd yn nghymdeithas ei gydbererinion, a'i ymddyddan am helyntion y daith, ac am yr orphwysfa yn y wlad well.

Mae pob peth mawr a phwysig y teulu hwn mewn gwlad bell. Nid oes ganddynt yn eiddo yn y byd yma ond taclau y daith, a'r daearol dŷ, a'r pethau perthynol iddi. Mae eu cymdeithas â'r wlad draw: "Gyda'r Tad, a chyda ei Fab ef Iesu Grist." Eu dinasfraint sydd yn y wlad bell; yno y maent yn masnachu, oddiyno y maent yn derbyn eu cynnaliaeth, a hyny trwy fyfyrdod a gweddi. Manna o'r nef ydyw yr ymborth, a dwfr o'r graig i'w yfed, "a'r graig yw Crist." Mae holl fasnach a chynnaliaeth y dyn anianol yn y bywyd yma; am y byd hwn y mae yn meddwl ac yn llefaru. Nis gall y duwiol gael hyfrydwch yn ei gymdeithas; mae ei hyfrydwch ef yn nghymdeithas ei frodyr y rhai sydd yn cydfasnachu âg ef am bethau gwlad well. Mor ddifyrus yw ganddynt adrodd i'w gilydd helyntion y fasnach draw! weithiau yn adrodd eu hofnau, ac weithiau eu cysuron. Yn debyg fel y mae marsiandwyr mawrion sydd yn gwneuthur eu holl fasnach bwysig mewn gwledydd tramor: gyda'u cydfasnachwyr y maent yn hoffi ymddyddan, o herwydd ni ddeallai dynion anwybodus am fasnach dramor eu hymadroddion; ond y mae rhai tebyg iddynt yn gwybod drwy brofiad am helynt y fasnach, yr ofnau a'r cysuron, y llafur a'r ennill. Gyda eu gilydd y gallant gael rhyw gyfarwyddyd a chalondid; a'u difyrwch yw cael cydgyfarfod yn y gyfnewidfa, ar y *Royal Exchange*, i ymddyddan am eiddo'r wlad bell. Dyma fel y mae'r duwiol yn caru cael ymddyddan â'i frodyr sydd yn masnachu fel yntau yn y wlad draw; ac wedi iddo dderbyn eiddo oddiyno, mae yn awyddus am weled ei frodyr i adrodd ei hanes, a dattod rhai o'r *parseli* ardderchog eu cynnwys y mae wedi ei gael. "Deuwch, gwrandewch, y rhai oll a ofnwch Dduw, a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm henaid."—*David Jones, Treborth.*

---

### GWEINIDOGAETH Y GAIR.

Y MAE Henaduriaethwyr, Esgobyddwyr, a Chynnulleidfäwyr, yr un fath, yn cydnabod Dwyfol awdurdod y Weinidogaeth. Mae pawb sydd yn credu mewn Eglwys Gristionogol yn credu y dylai fod yn nghynnulliadau yr eglwys i addoli yn gyhoeddus "weddi a gweinidogaeth y gair" (Act. vi. 4). Yr unig bwnc mewn dadl sydd ynglŷn â'r cwestiwn,

Pwy sydd i offrymu y gweddïau cyhoeddus ac i weinyddu y gair? Mae y rhai sydd yn dal penodiad Dwyfol y weinidogaeth gysegredig yn credu y dylai y gwaith hwn gael ei ymddiried i ddynion wedi eu neillduo i'r perwyl- dynion wedi eu didoli oddiwrth bob galwedigaeth fydol er mwyn iddynt roddi eu hunain i weddi a gweinidogaeth y gair fel eu galwedigaeth a gorchwyl eu bywyd; a dyma, fel y gwelsom, yw crêd yr holl Eglwysi hanesyddol yn ddïeithriad.

Y gwrthddadleuon a ddygir ymlaen ar yr ochr arall ydynt ddwy yn benaf. Yn y lle cyntaf, dywedir fod ymddiried gweinidogaeth y gair i ddosbarth swyddol yn ddianrhydedd ar yr Ysbryd Glân, gan nad yw yn ei adael yn rhydd i lefaru trwy y neb y myno; y mae yn wneuthur darpariaeth at waith ysbrydol heb gymeryd yr Ysbryd i'r cyfrif; y mae yn weithredu fel pe gallai dysg ac ordeiniad dynol wneyd dyn yn wir weinidog i Grist heb Ysbryd Crist. Gwrthddadleuir, yn ail, fod defnyddio gweinidogion swyddol yn rhoddi diystyrwch ar ddoniau ysbrydol aelodau *private* yr eglwys. Gan nad yw Crist yn cyfyngu ei ddoniau ysbrydol i fugeiliaid ac athrawon galwedigaethol, a ydyw yn iawn gyfyngu iddynt hwy bregethiad rheolaidd y gair?

Gyda golwg ar y gwrthddadleuon hyn, yr ydym yn cydnabod yn rhwydd y dylai eglwysi a'u gweinidogion gael eu hadgofio yn fynych nad oes gan un dyn hawl, ger bron Duw, i fod yn weinidog oddigerth fod Crist wedi ei alw trwy ei Ysbryd, ac oddieithr iddo edrych i fyny at Grist, ddydd ar ol dydd, am gymhorth ac arweiniad. Yr ydym yn addef hefyd y dylid croesawu a galw i weithrediad wasanaeth answyddol brodyr o ddawn. Ond y mae hyn oll yn berffaith gyson â'r mynegiad cryf o Ddwyfol awdurdod y weinidogaeth gristionogol. Nid ydyw yn canlyn am fod y medr i lefaru er adeiladaeth yr eglwys yn ddawn ysbrydol, y dylid gadael y math yma o wasanaeth yn gwbl i weinyddiadau answyddol aelodau anghyhoedd sydd yn eu teimlo eu hunain yn cael eu cynhyrfu i'w gymeryd mewn llaw. Ewyllys Crist ydyw, nid yn unig fod ei bobl i gael eu harolygu a'u dysgu, ond fod bugeiliaid ac athrawon yn yr holl eglwysi—dynion wedi eu galw a'u gosod yn rheolaidd i'r gwaith, heb fod a wnelont â gorchwylion bydol.

Yn brawf o hyn yr ydym yn appelio at esiampl ein Harglwydd yn dewis y Deuddeg. Yn y rhagolwg ar ei ymadawiad at ei Dad, galwodd Crist ddeuddeg o'r dysgyblion ato, ac a'u penododd yn addysgwyr ac athrawon swyddol yr eglwys ieuengaidd. Parodd i'r dynion hyn adael heibio eu galwedigaethau bydol, fel y gallent roddi eu hunain yn gwbl i ddyledswyddau eu swyddogaeth newydd; ac efe a gyfarwyddodd, ar fod iddynt, tra y byddent felly ar waith, gael eu cynnal drwy gyfraniadau y ffyddloniaid. (Mat. x. 9, 10; 1 Cor. ix. 14, 15). Mae hyn yn peri i ni gredu y rhaid i wasanaeth swyddol gael lle yn nhrefniadau sefydlog yr eglwys; ac y mae hefyd yn profi nad yw gwasanaeth swyddol —gwasanaeth swyddogion ordeiniedig a chyflogedig — mewn un modd yn anghyson â ffydd yn mywiol Ben yr eglwys, nac â llawn gydnabyddiaeth o'r anghen am a gwerth gras yr Ysbryd Glân, nac â'r ddyledswydd rwymedig ar yr holl ffyddloniaid, yn ol eu gwahanol ddoniau a'u sefyllfaoedd, i roddi gwasanaeth answyddol a rhad gydag achos Crist.

Yr ydym yn appelio hefyd at athrawiaeth yr apostolion, a'u harferiad mewn cysylltiad â'r eglwysi cyntaf. Cymerid gofal i osod ymhob eglwys esgobion henadurol penodol, gwaith y rhai, ymysg pethau eraill, oedd llafurio neu boeni yn y gair a'r athrawiaeth; llywodraethwyr ac arweinwyr oedd i lefaru i'r bobl air Duw (1 Tim. v. 17; Heb. xiii. 7). Dylid sylwi na fwriadwyd hyn fel darpariaeth amserol ac achlysurol at adeiladaeth yr eglwysi, fel cedi apostolion a phrophwydi ac efengylwyr. Yr oedd gweinidogaeth bugeiliaid ac athrawon i gael lle yn barhâus, a hyny yn yr holl eglwysi. Nid oes eisieu myned ymhell i brofi hyn. Prif amcan tri o'r Epistolau yw dadguddio meddwl Crist ar y mater hwn—yr Epistolau gweinidogaethol fel eu gelwir (1 a'r 2 Timotheus, a Titus). Mae y rhai hyn yn cynnwys addysgiadau manwl a chyflawn ynghylch etholiad y gweinidogion henadurol, y cymhwysderau gofynol ynddynt, a'r dyledswyddau gorphwysedig arnynt,—yr oll o ba rai sydd yn dangos fod yr henuriaid neu yr esgobion hyn, ynghyd a'r diaconiaid, y rhoddir cyffelyb gyfarwyddiadau yn eu cylch, yn rhai y mae angenrheidrwydd anhebgorol am danynt tuag at iawn ddodrefnu eglwys gristionogol. Y mae yr Epistolau gweinidogaethol hyn sydd genym, gan hyny, yn dystiolaeth i'r anghenrheidrwydd am y swydd weinidogaethol.

Gellir ychwanegu un sylw arall. Mae'r gyfraith ynghylch cynnaliaeth yr athrawon hyn oddiwrth y bobl sydd yn cael eu dysgu ganddynt (Galat. vi. 6; 1 Cor. ix. 11, 14), yn dangos y bernid yn briodol iddynt fod, i arfer ymadrodd diweddar, yn '*professional men*,' hyny yw, dynion wedi eu hyfforddi ac yn ymroddi i weinidogaeth y gair fel gorchwyl eu bywyd. — *Dr. Binnie, Athraw Hanesyddiaeth Eglwysig yn Ngholeg yr Eglwys Rydd, Aberdeen.*

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

Y MAE argyhoeddiad arwynebol yn peri teimlad o'r anghenrheidrwydd am wir grefydd, ond heb gynnyrchu cariad at grefydd.

Dyn heb ddoethineb wedi ei godi i uchelder bydol sydd gyffelyb i anturiaethwr mewn awyren *(balloon)*: pawb yn edrych yn fychain iddo ef, ac yntau yn ymddangos yn fychan i bawb.

Hawdd a chyffredin yw rhedeg i ddyled; ond da fydd os gellir dyfod o ddyled dan ymlusgo.

Tebyg yw clôd dynion i'r afon, yr hon sydd yn dal i fyny bethau ysgafn a chwyddedig, ond yn gollwng i'r gwaelod bethau pwysig a sylweddol.

Daew ddyn yn ofalus a thyner iawn yn trin ei oriawr, rhag iddo ddyrysu ei pheiriau-

waith; ond y mae yr un dyn yn gallu gyda geiriau gerwin friwo teimladau ei gymydog sydd lawer gwerthfawrocach nag un oriawr.

Mae myfyrdodau dyn yn rhwym o fyned ar ol ei serchiadau; nis gall gwrthddrychau'r naill beidio bod yn wrthdddrychau'r llall.

Nis gall bwthyn gynnwys dodrefn amrywiol ac ardderchog y tŷ mawr; ond os bydd tangnefedd Duw yn nghalonau teulu'r bwthyn, fe fydd eu trigfan fechan yn cynnwys cymaint o ddedwyddwch ag a allai lenwi palas.

Mae ffydd yn gwneyd y drwg yn dda, a'r da yn well; ond y mae anghrediniaeth yn gwneyd da yn ddrwg, a phob drwg yn waeth.

Trugaredd fawr yw cael profi ychydig o rinweddau iachawdwriaeth Duw, a theimlo ar yr un pryd nad yw'r profiad yma *ond* ychydig.

Y frwydr sy'n profi y milwr, a'r dymhestl y morwr. Pa fodd y gwybyddid fod gras yn dysgu cristion i fod nid yn unig yn amyneddgar ond yn ddiolchgar mewn cystuddiau, heb iddo yr awr hon gyfarfod â hwynt?

Mae troi a throsi un adnod yn y meddwl yn fwy adeiladol na darllen pennodau lawer, sef, eu darllen yn unig.

Gall y fendith fod wedi dyfod i mewn trwy'r drws cefn, tra yr oeddem ni yn ei dysgwyl trwy'r drws tu blaen, ac felly fod y cyfaill da a ddysgwylid yn y tŷ eisoes, a ninnau heb wybod.

Dedwyddwch gras ar y ddaear yw bod yr Arglwydd gyda ni; a dedwyddwch gogoniant yn y nefoedd a fydd ein bod ni yn wastadol gyda yr Arglwydd.

Mae un o ddau beth yn rhwym o ddilyn pechod yn wastad: edifeirwch neu gosbedigaeth.

Marwolaeth yn llyncu bywyd yw byw heb Dduw.

Nid yw pob symudiad yn y byd hwn ond symudiad o un anialwch i'r llall; yr ochr arall i'r Iorddonen y mae'r wlad dda odiaeth.

# Barddoniaeth.

## ER COF AM Y PARCH. HUGH JONES, LLANGOLLEN,

*Yr hwn a fu farw Awst* 15, 1880, *yn* 59 *mlwydd oed.*

[Buddugol yn Eisteddfod Llangollen, Llun y Sulgwyn, 1881.]

HUGH JONES o Langollen orphenodd ei yrfa,
Cyrhaeddodd ei dalar cyn hwyrol brydnawn;
Nid oedd ond ymdeithydd tra bu efe yma,
Diangodd i'w gartref â'i lestr yn llawn:
O blith ei berth'nasau, a llu o gyfeillion,
Fe giliodd o'r golwg heb yngan un gair;
Os ydoedd yn teimlo ryw raddau o loesion,
Nis gallai amlygu maint poethder y pair.

Mae amser yn adfer rhai pethau o'n cwmpas,
Ail fywyd gynniwair mewn hoender a hedd;
Ond ni ddaw ein cyfaill i mewn i'n cymdeithas,
Gan nad all ymysgwyd o rwymau y bedd:
Ei deulu galarus ni welant ei wyneb.
I'r gornel addurnol i eistedd ni ddaw:
Difrifwch yn gymysg â thawel sirioldeb
Ddiflanodd o'r golwg i rywle 'n mhell draw.

Boneddig a gwreng a orfodid i'w barchu;
Un cyfaill cywirach ni chafwyd erioed;—
Pêrarogl dymunol ddyrchafai i fyny
Oddiwrtho p'le bynag y sangai ei droed:
Ymhob rhyw gyfeillach ymddygai yn bwyllog,
A hollol ddiduedd, a mynwes yn bur;
Ymhob cynhyrfiadau yr oedd yn dawedog,
Ac i'w addewidion y daliai fel dur.

O blaid y gwirionedd yn gadarn y safodd,
Er maint ydoedd ystryw gelynion y llawr;
A phob yn ychydig yn sicr cynnyddodd
Nes profi yn eglur ei fod yn ŵr mawr:—
Y parch a ddangoswyd ar ddiwrnod ei arwyl
Gan dyrfa a safai o gylch ei oer gell,
A'r dwysder ymwthiodd i mewn i bob preswyl,—
Siaradai yn uchel ei fod mewn gwlad well.

Efrydu y memrwn oedd pleser ei fywyd,
Ar faes y gwirionedd câdd foddion i fyw;
Gorchfygodd elynion â "chleddyf yr Ysbryd,"
Derbyniodd ei gymhorth yn wastad gan Dduw:
Yr oedd yn un cadarn yn yr Ysgrythyrau,
A dygai eu meddwl i'r goleu yn glir;
Gwrthsafodd yn erbyn erch gyfeiliornadau,
Bob amser y safodd yn ddewr dros y gwir.

Pan safai i fyny ger bron pechaduriaid,
Ceid purdeb sancteiddrwydd yn addurn i'w wedd,
Tra pryder yn cyrhaedd i eithaf ei enaid
Am gael ei wrandäwyr i gymmod a hedd;—
Er nad oedd yn meddu ar nerthoedd hyawdledd
I ysgwyd cynn'lleidfa, na'i gwneuthur yn fflam,
Yr oedd ei bregethau yn orlawn o sylwedd;
Ar lwybrau gwirionedd y cerddai bob cam.

Er nad oedd yn dangos meddyliau barddonol,
Na gallu i hedeg yn uchel a chwim,
Na thuedd i blymio i'r dyfnder aruthrol,—
Pregethai efengyl y deyrnas i'r dim;
Os na chawsom ynddo y treiddgar athronydd,
O'r herwydd nid aethom un amser yn drist;
Os na bu 'n efrydu yr heuliau ysplenydd,
Bu ini am dymmor yn genad dros Grist.

Yr oedd wedi gweled y niwed ofnadwy
I ddynion gymeryd deddf nefoedd yn sarn;
Perswadiodd droseddwyr cyn dydd y rhyferthwy
I agor eu llygaid, a bod o'r un farn:
Cyhoeddodd faddeuant i'r euog helbulus,
Dyddanai 'r adfydus dan lymder ei loes,
Bu 'n gymhorth neillduol i gael y gofidus
I sugno cysuron o grefydd y groes.

Ufudd-dod, gweithgarwch, a hunanymwadiad
Nodweddai ei fywyd tra bu efe byw;
Dibrisiodd uchelgais a hunan-ddyrchafiad
Gofalodd am roddi'r gogoniant i Dduw;
Esiamplau yr Iesu yn fanwl ddilynodd,
Efe oedd yr Athraw a ddenodd ei fryd;
I'w gwmni urddasol, ei enaid ehedodd
Ar union pan 'r ydoedd yn gadael ein byd.

Dymunodd am weled hawddgarwch yr Iesu
Fel gallai ei garu hwyr, boreu, prydnawn;
Os oedd yn yr anial ar brydiau yn methu,
Bydd bellach mewn mantais i'w garu yn iawn:
Mewn awyr iachusol y mae yn anadlu,
Heb deimlo effeithiau oddiwrth ei "hen boen;"
Mewn hwyliau nefolaidd bydd byth yn rhyfeddu
Wrth rodio o amgylch gorseddfainc yr Oen.

Gan iddo ef esgyn i'r dawel orphwysfa,
Mae 'n cofio am Iesu o dan goron ddrain,
Y croesbren, yr hoelion, a marw Calfaria,
Rhoi pen ar ei ogwydd, a brath picell fain,
Bedd newydd, yr amdo, y napcyn, a'r milwyr,
Y Rhaglaw Rhufeinig, na fynai roi hedd,
A phryder meddyliau y gwragedd digysur
Ddysgwylient eu Ceidwad o waelod y bedd.

O ddedwydd sefyllfa! ein cyfaill fydd bellach
Yn nghanol gogoniant yn gorphwys mewn gwaith;
A'r angel, â'r seraph gall wneuthur cyfeillach,
A myned, a myned, heb derfyn i'r daith;
Caiff rodio yr euraidd heolydd heb flino,
A sangu orielau yn nghwmni ei dras,
Ac uno mewn moliant heb arwydd diffygio;
Y cydgan i anthem y saint yw "Rhad ras."

Bod hebddo raid bellach ar daith yr anialwch
I lawr ac i fyny, yn bruddaidd a llon;
Ei babell eiddilaidd a roddwyd mewn heddwch
Hyd ganiad yr udgorn yn mynwent y Fron.
Disgyned o ddeuparth ei ysbryd i waered,
I roddi i ninnau adfywiad a nerth;
Wrth ddilyn y llwybrau a ddarfu ef gerdded
Y gallwn ni ddyfod o ddefnydd a gwerth.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

---

## BEDDARGRAFF

*I'r diweddar Barch. O. Owens, Bethel, Môn.*

OWAIN ydoedd Athraw tawel,—a sant,
Yn llenwi swydd angel:
Hiraethir, sonir mewn zel,
Bythoedd am Fugail Bethel.

HWFA MON.

---

# Bwrdd y Golygydd.

### CANU CYNNULLEIDFAOL.

*Yr Ymwelydd Cerddorol.*

ANWYL SYR,—Y mae y syniad am yr ymwelydd cerddorol, fel y crybwyllais yn fy llythyrau blaenorol, yn ennill tir yn gyflym ymhlith y rhai mwyaf sylwgar a chymhwys i wybod beth sydd eisieu. Y peth cyntaf sydd raid ei wneyd ydyw, i'r Cyfarfod Misol ei gymeryd mewn llaw, a gweithio yn benderfynol a difrifol. Gwyddom fod y canu cynnulleidfaol wedi bod yn cael sylw arbenig mewn rhai Cyfarfodydd Misol, a holl flaenoriaid y dosbarth yn cael eu gwahodd yno (os na chawsom ein camarwain). Ond nid ydym yn deall fod dim mwy wedi ei wneuthur nag i amryw frodyr lefaru ar y mater, a dyweyd ei fod yn un pwysig, ac y rhaid bod yn ymdrechgar i'w godi i sylw yn anrhydeddus. Nid ydym yn deall i ddim cynllun gael ei gynnyg a'i benderfynu; ond gadäwyd y peth i'r dechreuwyr canu a'r eglwysi gymeryd eu cynllun eu hunain. Ar ryw olwg yr oedd hyny yn dda, ac yn oreu, fe allai. Ond dyma'r gwir am y peth: nid oes ond ychydig o'n swyddogion eglwysig yn teimlo pwysigrwydd yr achos, ac o ganlyniad, maent yn ei adael yn hollol ddisylw ar ol dyweyd fod y peth wedi cael sylw yn y Cyfarfod Misol.

Mae ochr arall i'r mater hefyd. Mae llawer iawn o flaenoriaid eglwysig yn awyddus a pharod i wneuthur unrhyw beth a allont i wella y canu cynnulleidfaol; a gwyddom am amryw sydd yn meddwl ac yn cynllunio llawer pa fodd i'w wella; ond, er eu gofid, ni feiddiant weithredu dim, rhag eu cael yn trawsfeddiannu a thra-awdurdodi ar y blaenor canu, ac yntau o ganlyniad yn "lluchio ei gylchau" ac yn moni; ac yn neillduol felly os gŵyr ef nad oes neb arall a all wneyd y gwaith yn y lle. Ond, trwy drugaredd, mae rhai fel hyn yn ychydig ac anaml.

I gyfarfod â hyn, nis gallwn weled dim yn well nag i'r Cyfarfod Misol gymeryd y peth yn ei law ei hun, ac anfon swyddog penodol i'r gwahanol leoedd, yn eu cylch, i arolygu ac i symbylu y rhan hon. Byddai gan y cyfryw fanteision arbenig i fod yn llwyddiannus. Credwn y byddai y ffaith ei fod yn dyfod yn swyddog awdurdodedig y Cyfarfod Misol yn ddigon o symbyliad i'r cynnulleidfaoedd i barotoi ar ei gyfer. Byddai cyfarfod arbenig hefyd yn cael ei gysegru at y rhan bwysig hon; a cheid felly y bobl wedi dyfod ynghyd yn gyffredinol, ac o dan yr argraffiadau priodol o bwysigrwydd y canu. A phan y daw y *bobl* i deimlo pwysigrwydd y rhan hon, ceir hwy i afael mewn unrhyw gynllun tuag at ei ddwyn ymlaen. Byddai fod yr ymwelydd yn ddyn dyeithr hefyd yn sicr o roddi iddo fwy o ddylanwad ac effeithiolrwydd na'r blaenor canu cartrefol, ïe, hyd yn nôd pe yn israddol mewn gallu a gwybod-

aeth. Gwyddom fod hyn yn wirionedd sydd yn cael ei deimlo yn feunyddiol ymhob cysylltiad. Nid ydym am ddyweyd mai felly y dylai fod, ond rhaid i ni gydnabod mai felly y mae. "Nid oes i brophwyd anrhydedd yn ei wlad ei hun" ydyw hi gyda hyn fel pethau eraill. Byddai i'r cyfryw ymwelydd roddi cyfrif o'i ymweliadau ymhob Cyfarfod Misol, neu bob tri mis, fel y bernid oreu. Ac os byddai lleoedd heb fod yn llafurio a pharotoi erbyn ei ddyfodiad, byddent yn cael eu rhybuddio yn brydlawn gan y Cyfarfod Misol; a byddai hyny yn sicr o'u dwyn i weithio, rhag myned yn destun cerydd a dirmyg.

Nid ydym am dori cynllun penodol i'r ymwelydd yn awr. Dylai hyny gael ei wneyd ar ol ystyriaeth fanwl a phwyllog gan rai cymhwys mewn Cyfarfod Misol. Mae yn sicr mai nid dysgu tônau newyddion a ddylai fod amcan ei ymweliad, ond cael y gynnulleidfa i ganu y tônau sydd eisoes wedi eu dysgu, a'u canu mor effeithiol ag sydd yn bosibl. Fel yr ydym wedi dyweyd o'r blaen, mae gormod o ddysgu tônau newyddion wedi bod y blynyddoedd diweddaf, a'r rhai hyny o nodwedd mor estronol a dyeithr, ac yn symud mor unffurfiol, fel nad oes ynddynt y duedd leiaf i hudo y bobl i ganu. Mae y tônau yn rhai ardderchog ymhob ystyr fel cyfansoddiadau, ac yn gyfryw ag a dalent yn dda am eu dysgu yn deilwng. Ond y maent, fel rheol, yn gofyn yr holl gynghanedd yn llawn a chydbwys cyn y gellir eu mwynhâu; ac ychydig, fel y mae gwaethaf y modd, ydyw nifer ein cynnulleidfaoedd sydd yn cael y gynghanedd felly. Y canlyniad ydyw fod y tônau yn disgyn yn oer ac unffurf ar glustiau y bobl, ac yn methu eu hudo i ganu fel y dylent. Gan hyny credwn mai un o'r pethau mwyaf pwysig a ddylai fod yn amcan gan yr ymwelydd cerddorol, fyddai chwilio allan yn fanwl alluoedd y cynnulleidfaoedd, ac, ar ol cael gwybod hyny, eu cyfarwyddo pa fodd i weithredu gyda'r gwahanol ranau, a pha dônau yn fwyaf arbenig a ddylent eu defnyddio.

Diammheu genym y bydd llawer o arweinyddion yn teimlo ein bod yn myned yn rhy bell, ac yn eu gosod hwy yn ormod o is-wasanaethyddion, yn lle bod yn arweinwyr y bobl. Ond yr ydym yn lled sicr y byddai yn well iddynt ymhob ystyr fod yn weision da nag yn feistri gwael—bod yn weision ffyddlawn yn lle bod yn llywodraethwyr annoeth. Nid ydym yn meddwl taflu y diystyrwch lleiaf ar unrhyw un. Ein hamcan yw dyrchafu y rhan ogoneddus hon o wasanaeth ein Duw—codi y rhan bwysig yma o fur y ddinas sanctaidd. Rhaid gwneyd y gwaith yn y modd goreu, pa beth bynag ydyw y rhwystrau, a phwy bynag a ddichon deimlo oddiwrth y symudiadau yn y naill wedd neu y llall. Gwyddom fod yr hyn a grybwyllasom yn un o'r pethau pwysicaf. Pa reswm sydd i gynnulleidfaoedd bychain, o 60 neu 100 o nifer, mewn lleoedd gwledig a gwasgarog eu poblogaeth, lle nas gellir eu cael ynghyd unwaith mewn blwyddyn, hwyrach, i dreulio awr mewn dysgu canu tônau cynnulleidfaol, pa reswm, meddaf, ydyw canu tônau fel *Bavaria*, *Dusseldorf*, *Llanelli*, *Emyn Hwyrol*, *Golgotha*, *Syria*, *Mendelssohn*, *Glan Rhondda*, a lliaws eraill a allem eu nodi? Maent oll yn dônau o'r dosbarth mwyaf ardderchog, ac yn gofyn cael eu holl ranau yn gyflawn, neu iddynt fod ymhell o fod y peth ydynt; ie, yn wir, os nad ellir eu cael felly, gwell ydyw eu gadael yn llonydd. Mae y rhai hyn oll yn cael eu canu mor effeithiol a da yn ein cymanfaoedd, fel y mae arweinyddion yn penderfynu eu defnyddio ymhob cyfleusdra yn eu gwahanol gynnulleidfaoedd, heb feddwl o gwbl am allu cyfatebol eu cartrefleoedd. Po fwyaf a feddyliwn am hyn, mwyaf oll y teimlwn ei bwysigrwydd. Ac y mae yn ddiammheu genym y teimla pob un ystyriol mai y peth cyntaf i'w wneyd er mwyn diwygio, ydyw chwilio allan y diffygion; yna ceir penderfynu pa fodd i'w diwygio. A'r peth cyntaf i edrych iddo gyda'r canu cynnulleidfaol ydyw, *pa beth* i'w ganu; ac yna daw y *pa fodd* yn naturiol ac effeithiol.

OERDDOR.

---

#### GAIR O GYWIRIAD.

MR. GOLYGYDD,—Dymunaf alw eich sylw fod ychydig o gamgymeriad yn adroddiad Cymdeithasfa Llangefni yn y DRYSORFA am y mis hwn (Awst), gyda golwg ar yr hyn a ddywedais am yr elw ag y mae y *Cyfaill*, sef ein cyhoeddiad misol ni yn yr America, yn droi i'r Cyfundeb.

Yr oedd yr elw i'n Cyfundeb oddiwrth y *Cyfaill* y flwyddyn 1881 yn rhyw gymaint dros Driugain Punt; ac y mae holl ennillion y *Cyfaill* dros ben talu y gost o'i gyhoeddi i fyned at gynnorthwyo ein Cenadaeth Gartrefol ni yn America, i helpio achosion gweiniaid ymhlith ein cenedl yno. Y flwyddyn ddiweddaf yr oedd rhai a gyfranai at y Genadaeth yn nodi eu bod yn dewis i *ran* o'u cyfraniadau cenadol gael eu hanfon i gynnorthwyo eich Cenadaeth Dramor chwi yma; ac yr oedd y cyfanswm a ddaeth o'r gwahanol fanau i'r pwrpas hwnw yn cyrhaedd y swm o £44, y rhai a anfonwyd, fel y gwelir yn eich adroddiad chwi yma, i Drysorydd y Genadaeth Dramor, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, yn ol dymuniad y cyfranwyr.—Ydwyf, yr eiddoch yn frawdol,

OWEN R. MORRIS.

---

#### LLADD CREADURIAID ER YMBORTH.

MR. GOLYGYDD,—Cynnygiaf ychydig sylwadau ar lythyr *O. Glan Wnnion*. Mae yn wir fod Duw wedi caniatâu lladd creaduriaid er mwyn ymborth ar ol y diluw, gan fod cig yr amser hyny (fel yn awr gan rai pobl) yn cael ei ystyried yn un o anghenrheidiau bywyd; ac yr oedd yn cael ei arfer cyn y diluw *ynghyd a'i waed*, yr hyn a waharddwyd ar ol hyny. Sylwer mai caniatâd neu oddefiad yn unig oedd hyn. Fe ganiatäodd Duw i'r Israeliaid ysgaru, a chymeryd brenin; a chyn hyn yr oedd amlwreica hefyd yn cael ei oddef. Pan ofynwyd i'r Iesu ynghylch

ysgaru, ei ateb oedd, i'r peth gael ei ganiatâu, nid oblegid ei fod yn dda, ond oblegid eu caledwch calon, ac mai nid felly yr oedd yn y dechreuad, ac y mae yn eu cyfeirio yn ol at Gen. ii. 24. Fel hyn, os ydym am gyweirio sefydliadau anmherffaith (ac y mae rhai i'w cael—gwel Ezec. xx. 25), a rowd yn yr amseroedd diweddar, yr ydym i droi yn ol at y rhai hyny o ddyddiad boreuach, pan oedd dyn mewn ystad o berffeithrwydd. Os trown yn ol at Gen i. 29, ni a welwn beth a ordeiniwyd yn fwyd i ddyn yn ol natur ei gyfansoddiad. Pan rodded caniatâd ymhen amser ar ol hyny i weithredu yn wahanol, nid oedd ond *expediency* amserol wedi ei gyfaddasu i sefyllfa amserol, tra yr oedd y llall yn ddeddf anghyfnewidiol sefydledig ar egwyddorion parhâus. Y mae yn anghywir dywedyd fod cig yn fwy maethlawn na llysiau, fel yr arferir y gair yn Genesis, yr hyn y gall unrhyw ddyn sydd yn gwybod rhywbeth am gyfansoddiad bwydydd ardystio. Nid oes reswm i feddwl fod "awyr a thywydd anwadal" yn effeithio dim er gwendid corfforol, fel y gellir profi oddiwrth y bobl sydd yn byw mewn hinsoddau felly, un ai mewn eithafion o oerni, megys y Norwegiaid, y Pwyliaid, a'r Rwssiaid gogleddol, neu mewn gwres, megys yr Aiphtiaid, yr Hindŵaid, Negröaid Sierra Leone, Tyrciaid, Algeriaid, y Fellahins o Palestina, Hadendöaid (Nubiaid), trigolion gwahanol daleithiau America Ddeheuol, a llïaws eraill, y dosbarthiadau gweithiol o ba rai sydd, yn ol tystiolaeth teithwyr, yn byw ar ffrwythau'r ddaear; ac fe ellir cyfeirio at yr un bobl i wrthbrofi ffolineb y dywediad fod "llafur maith a dygn yn achosi gwendid corfforol."

Nid oes dim profion i gadarnhâu y gosodiad fod y ddaear yn rhoi ei ffrwyth yn fwy helaeth yn y cyfnod cynddiluwaidd nag y mae yn ei roddi ar ol hyny. Ni fyddai eisieu dwyn i mewn yr holl fwydydd i'r wlad hon pe byddai dynion yn byw ar eu bwyd naturiol, sef ffrwythau'r ddaear. Y mae gwlad sydd yn dibynu ar wledydd eraill am ei hymborth yn wlad wir wan. Pe ceid dynion i fyw ar ffrwythau'r ddaear, cynnaliai Prydain Fawr, nid yn unig y 30,000,000 o drigolion y mae yn methu eu porthi yn awr, ond yn agos i 250,000,000. Gallaf roddi ystadegau manwl i brofi hyn os bydd galw.—Ydwyf, yr eiddoch, &c.,

PYTHAGOREAD IEUANC.

---

# Y Wasg.

HAND-BOOKS FOR BIBLE CLASSES. *Edited by Rev.* MARCUS DODS, D.D., *and Rev.* ALEXANDER WHYTE, D.D.

---

THE EPISTLE TO THE HEBREWS. *With Introduction and Notes by* A. B. DAVIDSON, M.A., L.L.D., *Professor of Hebrew, etc., in the New College, Edinburgh.*

THE CHURCH. *By* WILLIAM BINNIE, D.D., *Professor of Church History, Free Church College, Aberdeen.*

SCOTTISH CHURCH HISTORY. *By Rev.* NORMAN L. WALKER, *Dysart.*

Edinburgh: T. & T. Clark, 38, George Street. 1882.

Y MAE'R Llawlyfrau i'r Dosbarthiadau Biblaidd gan y Meistri Clark o Edinburgh yn ychwanegu, fel y gwelir, yn barhâus; ac y mae llïaws eto yn cael eu parotoi gan amrywiol dduwinyddion ac ysgrifenwyr galluog.

Yr esboniad ar *yr Epistol at yr Hebreaid* gan Dr. Davidson sydd yn lloned llaw o lyfr, 260 o du dalenau, a hanner coron o bris, eithr nid yn anhylaw i'w gludo mewn llogell. Ceir ynddo i ddechre ragarweiniad helaeth, mewn tair o bennodau, yn ymdrin â derbynwyr neu ddarllenwyr y llythyr—y llythyr ei hun gyda golwg ar yr achlysur o'i ysgrifenu, a'i drefn a'i gynnwysiad—a'r awdwr o hono. Ar y mater olaf, dygir ymlaen y tri golygiad gwahanol oedd yn yr eglwys yn yr oesau boreuaf, a dangosir fod y syniad mwyaf cyffredinol yn erbyn y golygiad mai Paul yw yr awdwr.

Mae yr esboniad ei hun yn trin y pennodau ac adnodau yn gryno a chynnwysfawr, ac eto yn eglur, ac yn wir yn fanwl ar bob mater ac ymadrodd o bwys; a chyda hyny cawn amryw nodiadau yn chwanegol at yr esboniad, megys ar Orphwysfa Duw, Gair Duw, Offeiriadaeth Crist, y Ddau Gyfammod, Dydd y Cymmod, &c.; oll yn rhoddi goleuni da ar gynnwysiad yr epistol. Trwy yr holl lyfr, yr ydym yn canfod yr ysgrifenydd yn "debyg i ddyn o berchen tŷ, yr hwn sydd yn dwyn allan o'i drysor bethau newydd a hen."

Mae *yr Eglwys* gan Dr. Binnie yn waith gwych ac adeiladol, ac felly yn "*handbook*" hylaw ar "Natur Eglwys" yn ei holl gysylltiadau. Wrth gwrs, Henaduriaethwr yw yr awdwr, ac y mae yn dadleu yn fedrus dros y wedd henaduriaethol ar y cyfansoddiad eglwysig. Mae yn wir nas gallwn fel Methodistiaid Calfinaidd gymeradwyo yr oll a ddywed efe am y "*Ruling Eldership;*" yr *henuriaid*, gyda'r gweinidog, i *lywodraethu* yr achosion eglwysig "dros yr eglwys," megys derbyn neu ddiarddel aelodau, fel y gwneir gan y Presbyteriaid yn gyffredinol. Ond, gyda hyn o eithriad, rhaid i ni ganmawl y llyfr hwn drwyddo; ac yr ydym wedi rhoddi eisoes ddyfynnodiad o hono ar Weinidog-

aeth y Gair yn ein rhifyn presennol. Pwy bynag a'i darlleno yn ddyfal, ni chytrifa iddo roddi deunaw ceiniog yn ofer wrth ei bwrcasu.

Y llyfr ar Hanes Eglwysig Ysgotaidd gan y Parch. N. L. Walker sydd o'r un bris â'r llyfr gan Dr. Binnie, ac yn cynnwys cymaint neu fwy o du dalenau. Rhoddir yma adroddiad cryno am amgylchiadau crefydd efengylaidd yn Scotland o'r canrifoedd cyntaf hyd ein hamser hwn; ac y mae y cyfan yn ddyddorus ac addysgiadol iawn. Ni byddai dim yn fwy dymunol i'r Cymry na llaw-lyfr cyffelyb ar hanesiaeth eglwysig yn ein mysg ninnau.

---

HANES PLWYF FFESTINIOG O'R CYFNOD BOREUAF. *Gan* G. J. WILLIAMS.

Wrexham: argraffwyd gan Hughes & Son.

HYSBYSIR i ni yn y Rhagymadrodd ddarfod darparu yr Hanes hwn ar gyfer yr hyn a elwid yn "Ail Eisteddfod Chwarelau Mr. Oakeley," Hydref, 1880, ac iddo fod yno yn fuddugol, ac y rhoddwyd y wobr—deg gini—i'w awdwr. Un o'r beirniaid, sef yr hynafieithydd clodwiw, y Parch. Owen Jones, Llandudno, a ysgrifenai, os penderfynid argraffu y traethawd, "y gall Ffestiniog ymffrostio mewn 'Bro-ddarluniad rhagorach' nag un plwyf arall yn y Dywysogaeth." Ac yn awr, wele efe wedi ei argraffu, a bro hynod Ffestiniog, fel y bu, ac fel y mae, yn cael ei darlunio yn y modd mwyaf arbenig a chanmoladwy.

Mae yn rhaid fod yr hanes fel ei gosodir yma ger ein bron wedi costio ymchwiliad manwl a maith, a llafur dygn, i'r ysgrifenydd. Cawn olwg ymlaenaf ar sefyllfa a hynodion daearyddol y plwyf, ac yna ei hanes yn y cyfnodau cyn-Rufeinaidd a Rhufeinaidd a theyrnasiad y tywysogion Cymreig, ac wedi hyny o amser darostyngiad Cymru gan y Saeson hyd amser Oliver Cromwell, yn cynnwys amryw gofnodiadau a thraddodiadau dyddorol dros ben. A rhoddir i ni lïaws o adroddiadau digrifol am hen bobl Ffestiniog, yr amaethwyr yn benaf, yn yr oesoedd o'r blaen. Yna rhoddir hanes cryno am y Chwarelau Llechi, oddiwrth yr hyn y cafodd plwyf Ffestiniog ei ogoniant daearol penaf. Ar ol hyny cawn bennodau dan y teitlau,—Y Meddygon a'r Meddygdŷ—Gwelliantau yn y Plwyf—Cynnydd y Boblogaeth, a'r Darpariadau ar gyfer hyny—Crefydd—Amrywion Plwyfol—Prif Deuluoedd y Plwyf a'u Hanneddau—Enwogion a Hynodion y Plwyf. Ac addurnir y gwaith âg amryw ddarluniau portreiadol, ac ychwanegir mapiau ysblenydd ato. Mewn gair, y mae wedi ei wneyd i fyny o ran ei gynnwysiad a'i argraffiad yn y ffordd oreu, ac yn deilwng o le da ymhob llyfrgell.

Dysgwyliwn na bydd neb cydnabyddus â Ffestiniog a'i chymydogaethau heb feddu copi o'r llyfr hwn, tra y bydd pawb hoff o hynafiaeth ymhob man yn mynu ei berchenogi; ac y mae yn ddilys genym y byddai ein darllenwyr yn gyffredinol yn cael ynddo lawer o addysgiadau rhagorol nas anghofid ganddynt.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

---

### Y GYMANFA GYFFREDINOL,

A GYNNALIWYD YN Y BALA, MEHEFIN 13—16, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. REES JONES, Portdinorwic.

(*Parhâd o tu dalen* 304).

PEDWERYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Dydd Iau, am 9 yn y Bore.*

DECHREUWYD y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Edward Price o Fangor.

Darllenwyd a chadarnhäwyd cofnodau y cyfarfod blaenorol.

XXXI. Derbyniwyd cenadwri oddiwrth Gymdeithasfa y Deheudir, yn galw sylw y Gymanfa Gyffredinol at y "*Charitable Trusts Incorporation Act*," ac yn dymuno ar fod i'r mesurau anghenrheidiol gael eu defnyddio er cael y Weithred wedi ei diwygio er mantais i'r Cyfundeb yn gyffredinol. Rhoddes y Parch. David Edwards, Casnewydd, eglurhâd i'r Gymanfa ar y genadwri. Wedi cryn ymgynghoriad, cynnygiodd y Parch. Dr. Edwards, cefnogodd y Parch. John Davies, Pandy, a phenderfynwyd, Ein bod yn barnu mai gwell, ar hyn o bryd, yw gadael y mater hwn fel y mae.

XXXII. *Adroddiad Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol.*

Cyfarfyddodd y Pwyllgor bedair neu bump o weithiau, ac wedi ystyriaethau pwyllog, penderfynwyd cynnyg y pethau canlynol:—1. Fod Canmlwyddiant yr Ysgol Sabbothol Gymreig i'w gadw yn 1885.—2. Gyda golwg ar y dull o gadw y Canmlwyddiant, cynnygir ar fod Cymanfäoedd Ysgolion i'w cynnal ar ddydd a benodir gan y Gymanfa ymhob Dosbarth Ysgol trwy Gymru, a bod un o'r cyfarfodydd i fod at wasanaeth y plant.—3. Fod

pregeth ar yr Ysgol Sul i gael ei thraddodi ymhob capel y Sul o flaen cyfarfodydd y Canmlwyddiant.—4. Fod i'r Gymanfa Gyffredinol roddi gwobr am yr Anthem oreu at wasanaeth yr Ysgol, i'w chanu yn Nghymanfäoedd y Canmlwyddiant.—5. Fod bathodyn *(medal)* i gael ei wneyd gyda darlun o Mr. Charles ar un wyneb iddo, er coffadwriaeth o'r amgylchiad, heb fod uwchlaw dwy geiniog o bris.—6. Gan fod Pwyllgorau Sirol perthynol i'r Ysgol Sabbothol wedi eu ffurfio ynglŷn â'r rhan fwyaf, os nad yr oll o'r Cyfarfodydd Misol, bernir mai da fyddai i'r Pwyllgorau Sirol anfon cenadwriaethau neu awgrymiadau i'r Pwyllgor Cyffredinol am yr hyn a farnont yn fwyaf angenrheidiol er llwyddiant yr Ysgol.—7. Fod y llyfr a twriedir ei gyhoeddi ar hanes yr Ysgol i gynnwys,—(1) Braslun o hanes codiad yr Ysgol yn Lloegr.—(2) Heblaw pennod ar Mr. Charles gan Dr. Edwards, ychydig o hanes eraill fuont yn gweithio yn egnïol a llwyddiannus yn ei sefydliad.—(3) Pennod o gyfarwyddiadau neu siamplau o waith athraw gyda'i ddosbarth.—8. Dymunir eto ail alw sylw at awgrymiadau a gyflwynwyd gan y Pwyllgor hwn i'r Gymanfa yn Nghaerdydd, yn enwedig y rhai canlynol:—"(1) Annog yr holl Ysgolion i fabwysiadu cynllun yr ysgolion dyddiol o addysgu y plant, a da fyddai gwneyd cymaint o ddefnydd ag y byddo modd o athrawon yr ysgolion dyddiol i addysgu yn yr Ysgolion Sabbothol.)—2) Mai y moddion mwyaf effeithiol y gallwn feddwl am dano, ag sydd yn gyrhaeddadwy ar hyn o bryd, i addysgu a chymhwyso athrawon, ydyw cadw dosbarth athrawon, nid yn gymaint er ychwanegu gwybodaeth, ond i hyfforddi gyda golwg ar y dull o gyfranu addysg *(method of teaching)*.—(3) Y priodoldeb i bob Cyfarfod Misol i gael Arolygydd i ymweled yn flynyddol, neu yn amlach, â'r holl ysgolion, er eu cynnorthwyo i wneyd yr ysgol yn effeithiol, megys cyfarwyddo i sefydlu dosbarthiadau Biblaidd, cyfarwyddo gyda holwyddori ac arholiadau, a chynnal yn achlysurol gynllunddosbarth *(model-class)* yn ngwydd y gynnulleidfa, ar y Sabboth, neu yn yr wythnos.—(4) Annog yr holl ysgolion i gael llyfrgelloedd cyfaddas er cynnyrchu ysbryd darllen, a chynnorthwyo pobl ieuainc yn eu llafur i chwilio am wybodaeth.—(5) Annog y rhai sydd yn ol gyda'r arholiadau i ddilyn esiamplau y Siroedd sydd ymlaen gyda hyn, a hyny yn Sirol, gan hyderu y gellir, ar ol i'r holl wlad ddeffro at y gwaith hwn, drefnu arholiad cyffredinol ynglŷn â'r Gymanfa Gyffredinol."—9. Dymuna y Pwyllgor ychwanegu eu bod yn ystyried y trydydd o'r penderfyniadau uchod yn neillduol o bwysig, oblegid y byddai Goruchwyliwr Sirol neu Daleithiol ffyddlawn a medrus yn alluog i gyfarwyddo yr Arolygwyr lleol i gario allan y gwahanol gynlluniau a'r awgrymiadau o'r Gymanfa Gyffredinol.—THOMAS LEVI, *Ysgrifenydd.*

Cynnygiwyd gan y Parch. William Williams, Abertawe, eiliwyd gan y Parch. E. Davies, Trefriw, a phenderfynwyd, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu. Penderfynwyd, hefyd fod un cyfarfod i gael ei neillduo yn y Gymanfa nesaf i gymeryd yr Ysgol Sabbothol o dan ystyriaeth. Hefyd, ar gynnygiad y Parch. Dr. Edwards, Bala, ac eiliad Mr. John Lloyd, Pentre, Fod yr Ysgol Sabbothol i gael sylw arni mewn rhan o'r cyfarfod y prydnawn hwn. Penderfynwyd hefyd fod y Pwyllgor i barhâu yn eu swydd, ac i weithredu yn ol eu Hadroddiad presennol.

XXXIII. Yn unol â phenderfyniad a basiwyd mewn cynnadledd flaenorol, darllenodd y Parch. Dr. Owen Thomas lythyr a barotoisai i'w anfon, yn enw y Gymanfa, at y brodorion ar Fryniau Khasia a Jaintia. Wedi clywed y darlleniad, cynnygiodd y Parch. Dr. Edwards, cefnogodd y Parch. Roger Edwards, a phenderfynwyd, am y llythyr, yr hwn y teimlid nas gallai bod ei well i'r pwrpas yr amcenid ef, fod y Gymanfa yn ei gymeradwyo. Ar gynnygiad y Parch. D. Lloyd Jones, M.A., Llandinam, a chefnogiad Mr. Griffiths, Rock, penderfynwyd, Yn gymaint a bod ysbryd y llythyr a ddarllenasai Dr. Thomas mor ragorol, a'i duedd i wneuthur daioni mor amlwg, fod dau neu dri chant o gopïau o hono yn yr iaith Saesoneg yn cael eu hanfon i Khasia, ac wedi hyny ar fod i'r Cenadon edrych ar iddo gael ei gyfieithu a'i argraffu yn iaith y brodorion, a gofalu bod un copi o leiaf o hono yn cael ei roddi yn llaw pob un o aelodau ein heglwysi ar y Bryniau yn eu hiaith eu hun.

XXXIV. Hefyd, darllenodd y Parch. W. Williams, Abertawe, lythyr a ddarparasai i'w anfon at Mrs. Brownlow; ac ar gynnygiad y Parch. Roger Edwards, a chefnogiad y Parch. W. James, B.A., Manchester, penderfynwyd, Fod y llythyr y clywsid ei ddarllen yn cael ei gymeradwyo.

XXXV. Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol o'r Ystadegau am ein Heglwysi a'n Capelau am y flwyddyn ddiweddaf, gan yr Ystadegwyr, y Parchedigion Joseph Evans a T. J. Wheldon, B.A.:—

Drwg yw genym nas gallwn roddi Adroddiad argraffedig mwy cyflawn yn llaw y Gymanfa, a hyny o herwydd aflerwch ychydig o leoedd yn anfon eu cyfrifon i mewn. Dymunem ddadgan ein diolchgarwch gwresocaf i ymron yr oll o'r Ysgrifenyddion Sirol am eu gwasanaeth gwerthfawr; eto y mae hwyrfrydigrwydd rhai yn gwneuthur yn ddifudd brydlondeb eraill. Tra y mae Sir Feirionydd a'i Hystadegau mewn llaw erbyn Ionawr 15fed, a Siroedd y Gogledd oll yn bra boddhäol eleni, eto yn y Bala y daeth rhanau eraill i'n llaw, yr hyn wedi cynifer o flynyddoedd o ymdrech i'w cael yn brydlawn sydd yn waeth nag esgeulusdra. Yr ydym eto eleni, gyda graddau helaeth o hyfrydwch, yn cyflwyno yr Adroddiad i'r Gymanfa; dywedwn graddau, nid am nad oes genym le

mawr i gydnabod yr Arglwydd am ei diriondeb i ni fel Cyfundeb, eto nid yw ein llwyddiant y fath ag a ddymunai ein calon ei weled. Y mae ychydig gynnydd, chwi a welwch, mewn pob rhan,—yr eglwysi, y capelau, yr aelodau, a'r casgliadau; ac er nad ydyw y cynnydd hwn yn dyfod i fyny â'r cynnydd arferol, eto y mae yn ddangosiad o fendith fawr, a ffyddlondeb helaeth yn yr eglwysi. Y mae y cynnydd o 376 yn rhif yr aelodau yn fychan; ond pan y cofiwn fod dros 4000 wedi marw a chael eu diarddel yn ystod y flwyddyn, rhaid i'r cynnydd fod yn fawr i allu dal ein tir. Y mae genym yn ein heglwysi yn agos i 60,000 o blant bychain, o fysg pa rai y derbyniwyd dros 3000 yn aelodau y flwyddyn ddiweddaf, fel ag y mae y blanigfa hon yn rhoddi nifer mawr i'n heglwysi. O honynt hwy gan mwyaf y mae arweinwyr ein heglwysi yn codi; a phan y mae Sïon yn magu ei meibion nid ydyw Duw yn ei gwneuthur yn amddifad o ddynion, eithr rhoddir iddi o'r meibion a esgorodd rai i afaelyd yn ei llaw ac i'w harwain. Eto credwn pe byddai i ni fyned i bwyso ar hyn, y profai yn ddinystr; canys wrth achub y byd y gallwn obeithio parhâu i gadw ein plant hefyd. Llawenydd yw genym gan hyny fod dros 4000 wedi eu derbyn o'r byd yn aelodau yn ystod y flwyddyn; eto wrth ystyried y tir lawer sydd genym i'w ennill, nid yw eto ond bychan. Yn yr adran arianol cawn gynnydd o £6527, ac y mae hyn, pan ystyriom sefyllfa fasnachol y wlad, yn lled foddhäol. Y mae y cynnydd mewn 15 o'r Cyfarfodydd Misol, a'r lleihâd mewn 9. Wrth sylwi ar y lleihâd, cawn ei fod yn tarddu o herwydd nad oes ymdrechion neillduol yn cael eu gwneuthur er symud ymaith ddyledion y capelau,—y casgliad hwn sydd yn teimlo gyntaf oddiwrth salwder neu lwyddiant masnach. Yn herwydd yr un rheswm, nid yw y gwaith o adeiladu, adgyweirio, a helaethu capelau wedi bod mor helaeth ag arfer y flwyddyn ddiweddaf. Teimlwn ddyledswydd arnom i alw sylw at hyn, gan fod y casgliad at y ddyled mewn rhai Cyfarfodydd Misol yn syrthio yn llawer rhy isel yn ol swm y ddyled. Yn Nwyrain Morganwg, er engraifft, y mae y ddyled dros £45,000, tra nad ydoedd y casgliad at ddiddyledu yr addoldai ond £1600. Nid gorwedd dan y baich ydyw y ffordd i gael gwaredigaeth o hono. Eto wrth edrych ar yr oll, pe na chyfrenid at hyn bob blwyddyn ond a gyfranwyd y llynedd, byddai swm ein dyled oll wedi myned o'r golwg mewn llai na 10 mlynedd o amser. Yr ydym eleni yn gallu rhoddi cyfrif mwy cywir, er nad mor foddhäol, o'n Hysgolion Sabbothol. Y mae genym 1430 o honynt, a thua 178,000 yn ddeiliaid o honynt. Y mae y nifer rhwng hyn a rhif ein gwrandäwyr yn 97,000, fel, er rhoddi ar gyfer plant, llesgedd, a henaint, rif digonol, eto y mae genym dir lawer i'w ennill. Gyda ni y mae yr Ysgol yn blaenori yr eglwys a'r addoldŷ. Gyda'r Bibl yn ei law y mae ein Cyfundeb wedi sefydlu ei eglwysi; a hyderwn y bydd i'r ymdrech ganmlwyddol gyda ni fawr lïosogi yr Ysgolion, ac hefyd ychwanegu at eu heffeithiolrwydd. Y mae ein Hystadegau yn dangos fod mwy na hanner ein gweinidogion mewn cysylltiad âg eglwysi neillduol. Y mae 350 o honynt felly, a 260 heb fod. Eto nid oes hanner yr eglwysi dan eu gofal; a chan mai yr eglwysi cryfaf gan mwyaf sydd yn galw gweinidogion i'w gwasanaethu, y mae llïaws yr eglwysi gwanaf heb gael daioni oddiwrth y symudiad hwn ond i raddau cymhariaethol fychan. Ac felly, pa ymdrech bynag sydd ymhlith ein swyddogion oll, y mae nifer o honynt yn cael cam. Yr ydym yn alluog hefyd i roddi ystadegau mwy cywir eleni am ein hachosion Seisonig. Y mae yr eglwysi yn 158, yr aelodau ynddynt yn 7716, y gwrandäwyr yn 27,000, a chyfanswm eu casgliadau y flwyddyn ddiweddaf yn £21,372. Y mae yr eglwysi hyn yn fychain. Nid yw cyfartaledd yr aelodau i bob eglwys ond 48·6, tra y mae cyfartaledd yr aelodau i bob un o'r eglwysi Cymreig yn 101·2. Nid yw llïaws o'r eglwysi Cymreig yn gryfion, eto y mae y rhai Seisonig yn llawer gwanach. Y mae y corff mawr o rai yn siarad yr iaith Saesoneg yn ein gwlad yn galw am sylw, yn enwedig poblogaeth trefi Deheudir Cymru, lle y mae yr angenrheidrwydd mwyaf i ymwneyd â hyn. Nis gallwn ddal ein gafael yn sicr yn y wlad heb orchfygu y trefydd, ac nis gellir gwneuthur hyny mwyach yn nhrefydd mawr Cymru ond trwy yr iaith Saesoneg. Nis gallwn esgeuluso hyn heb esgeuluso ein gwlad, ein cenedl, ein cnawd a'n gwaed ein hunain.

Yn ystod y deng mlynedd diweddaf, y mae cynnydd y boblogaeth yn Nghymru wedi bod yn ol 11·7 y cant; yn yr un amser y mae cynnydd ein haelodau ni wedi cynnyddu yn ol 27·8 y cant. Y mae genym dir mawr i'w feddiannu eto yn Nghymru, gan fod yn rhaid fod ynddi gannoedd o filoedd nad ydynt wedi eu meddiannu gan unrhyw eglwys Gristionogol. Nis gallwn roddi cyfrifon hollol gywir o'n safle; ond er nas gallwn gael hyn yn hollol gywir, y mae yr amcangyfrif yn ddigon agos i ni roddi sylw iddo. Yr ydym fel Cyfundeb yn ffurfio o gylch 18 y cant o boblogaeth Cymru. (Wrth roddi amcangyfrif yn anmherffaith, o herwydd fod y Cyfarfodydd Misol yn gwahaniaethu oddiwrth arwynebedd y Siroedd, y mae ein Cyfundeb o'i gymharu â rhif y boblogaeth yn sefyll *yn agos* fel y canlyn:—Yn Meirionydd, 44 y cant; Môn, 39; Caernarfon, 38; Aberteifi, 33; Fflint, 24; Trefaldwyn, 22; Dinbych, 17; Caerfyrddin, 14; Morganwg, 9; Maesyfed, 8; Penfro, 7. Nid ydyw yr anmherffeithrwydd yn yr uchod yn fwy na 1·50 y cant.)—Y mae ansawdd ein gwlad yn galw arnom ni i fod eto megys ein tadau yn eglwys ymosodol, fel na byddo i ni ymfoddloni, eithr ymostwng ger bron yr Arglwydd. Eiddo yr Arglwydd yw y swp hwn o rawn, gan hyny na ddifwyner ef; eto "ni adawn ddystawrwydd iddo hyd oni osodo GYMRU yn foliant ar y ddaear."

(Ceir manylion cyfrifon yr Ystadegau yn Nghylchlythyr y Gymanfa.)

Ar gynnygiad y Parch. Dr. Owen Thomas, ac eiliad y Parch. John Rees Owen, Penfro, penderfynwyd i dderbyn yr Adroddiad gan yr Ystadegwyr, a bod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi

iddynt am eu llafur. Penderfynwyd hefyd eu bod i barhâu yn eu swydd am y flwyddyn ddyfodol.

XXXVI. Cyflwynwyd gan y Parch. Robert Roberts, Dolgellau, Adroddiad ar Feddiannau y Cyfundeb, yr hwn sydd yn dangos, er nad ydyw yn gyflawn, fod meddiannau y Cyfundeb yn werth dros £1,100,000. Cynnygiwyd gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., eiliwyd gan Mr. Robert Rowland, a phenderfynwyd, fod Pwyllgor i gymeryd yr Adroddiad hwn i ystyriaeth, a dwyn adroddiad arno i'r Gymanfa nesaf:—y Pwyllgor i fod yn gynnwysedig o'r aelodau sydd eisoes wedi eu happwyntio, sef y Parch. R. Roberts, Dolgellau; a Mri. Robert Rowland, Edward Griffith, a'r Ystadegwyr: ac hefyd y personau canlynol—Mri. J. Roberts, Solicitor, Bangor; J. Davies, Treborth; E. Davies, Llandinam; R. J. Davies, Cwrtmawr; J. Harrison Jones, Liverpool; Thomas Phillips (ieu.), Abertawe; a'r Parchn. D. Edwards, Casnewydd, a W. M. Lewis, Trevine—y Parch. R Roberts yn gynnullydd. Penderfynwyd hefyd fod nifer o gopïau o'r Adroddiad i gael eu hargraffu yn yr iaith Saesoneg.

XXXVII. Cyflwynodd y Parch. G. Ellis, M.A., Bootle, Adroddiad y Pwyllgor Dirwestol, yr hwn, oddieithr un penderfyniad, oedd fel y canlyn :—

Yn ol penderfyniad y Gymanfa, etholwyd y Pwyllgor "i gadw golwg ar yr Achos Dirwestol, ac i ymohebu â chyfeillion o enwadau eraill o berthynas i hyrwyddiant yr achos hwnw." Gan na phenodwyd yr un o'i aelodau yn Gynnullydd, ni chyfarfu y Pwyllgor hyd y Gymanfa hon. Atebwyd gohebiaeth oddiwrth Mr. Bannerman, o Eglwys Rydd Scotland, gan un o'r aelodau (Mr. O. Jones). Dymunir cynnyg y penderfyniadau canlynol i gymeradwyaeth y Gymanfa :—1. Ein bod yn llawenhâu yn y llwyddiant mawr sydd wedi bod yn ddiweddar ar yr Achos Dirwestol mewn rhanau helaeth o'r Dywysogaeth, ac yn y gefnogaeth wresog sydd wedi ei rhoddi gan Gymdeithasfäoedd y Dehau a'r Gogledd, a chan ein heglwysi, i'r achos yn y wedd newydd sydd arno yn ein plith, gan ddymuno am i'r un gefnogaeth gael ei pharhâu eto yn y dyfodol, a hyny os ydyw yn bosibl yn fwy cyffredinol, ac yn gobeithio y gwneir pob ymdrech i ddwyn y rhai sydd wedi eu hennill i dir sobrwydd i afael dylanwad achubol yr efengyl. 2. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch diffuant i Mr. John Roberts, A.S., am ei ymdrechion egnïol a llwyddiannus i sicrhâu i'n gwlad y fendith fawr o gau y Tafarnau ar Ddydd yr Arglwydd. 3. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch i'r Llywodraeth am y gefnogaeth barod a roddwyd ganddi i gario y Mesur i gau y Tafarnau yn Nghymru ar Ddydd yr Arglwydd, ac yn taer erfyn arni i ddwyn i mewn Fesur i gau y Tafarnau yn Lloegr ar y Sabboth, ynghyd a Mesur yn cynnwys yr Egwyddor o Ddewisiad Lleol (*Local Option*) sydd wedi ei chymeradwyo gan Dŷ y Cyffredin yn y ddau dymmor diweddaf. Ein bod yn anfon copi o'r penderfyniad hwn i'r Prifweinidog a'r Ysgrifenydd Cartrefol.

Ar gynnygiad y Parch. John Williams, Bangor, a chefnogiad y Parch. J. Pryse Davies, M.A., Caerlleon, penderfynwyd, Fod y Gymanfa hon yn derbyn ac yn cymeradwyo Adroddiad y Pwyllgor Dirwestol, a'n bod yn ail benodi y Pwyllgor fel y mae am flwyddyn eto.

XXXVIII. Cynnygiodd y Parch. G. Ellis, M.A., cefnogodd y Parch. Evan Davies, Trefriw, a phenderfynwyd, Ein bod fel Cymanfa yn dadgan ein rhwymedigaeth a'n diolchgarwch i Mr. J. Roberts, A.S., Bryngwenallt, am y gwasanaeth gwerthfawr a wnaeth i'n gwlad trwy ei ymdrech llwyddiannus i gael Mesur er cau y Tafarnau ar y Sabboth yn Nghymru. Ein bod hefyd yn gwneyd amlygiad o'n diolchgarwch diffuant hwn trwy beri parotoi Anerchiad oddiwrth y Gymanfa at Mr. Roberts.

XXXIX. Cynnygiodd Mr. R. Rowland, Ffestiniog, cefnogodd y Parch. T. J. Wheldon, B.A., Ffestiniog, a phenderfynwyd, Fod gofalu am barotoad yr Anerchiad i Mr. Roberts, A.S., i gael ei ymddiried i'r Parchn. Dr. O. Thomas, Dr. J. Hughes, W. James, B.A., ynghyd a'r Pwyllgor Dirwestol.

XL. Darllenodd y Parch. Morris Morgan, Treforris, yr anerchiad o ddiolchgargarwch i'r Llywodraeth a barotoisid gan y Pwyllgor Dirwestol, yn ol y trydydd penderfyniad o Adroddiad y Pwyllgor hwnw.

XLI. Darllenwyd llythyr oddiwrth Mr. Jones, Llanfyllin, fel Ysgrifenydd y Pwyllgor gyda golwg ar gael tir i adeiladu capelau, yn rhoddi ar ddeall ei fod, er ymdrechu, eto, o herwydd annybendod rhai Cyfarfodydd Misol, wedi methu a chwblhâu Adroddiad oddiwrth y Pwyllgor erbyn y Gymanfa hon. Ond rhoddasai y mwyafrif o aelodau y Pwyllgor ganiatâd i Mr. Jones i ofyn i'r Gymanfa Gyffredinol ei ail benodi, ac, os gwelid hyny yn ddoeth ac yn anghenrheidiol, i argraffu Adroddiad at wasanaeth y Gymanfa Gyffredinol nesaf. Ar gynnygiad y Parch. J. Jones, Tregaron, a chefnogiad y Parch. J. Davies, Bontddu, penderfynwyd ein bod yn ail benodi y Pwyllgor, ac yn dymuno ar iddo gwblhâu y gwaith sydd wedi ei ymddiried iddo.

XLII. Cyflwynwyd Adroddiad oddiwrth Bwyllgor Cofgolofn y Parch. Daniel Rowlands gan y Parch. Thomas Levi, yn yr hwn yr hysbysir fod cytundeb am wneuthuriad y cerflun wedi ei wneyd, ac mai y draul yw £565: fod y Golofn i'w gosod i fyny yn Llangeitho, ac i fod yn barod yn Mehefin 1883. Ar gynnygiad y

Parch. John Davies, Pandy, ac eiliad y Parch. David Jones, Gwyddelwern, derbyniwyd yr Adroddiad.

PUMMED EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Prydnawn Dydd Iau, am 2 o'r gloch.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Robert Owen, Tŷ Draw, Wyddgrug.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XLIII. Cyflwynwyd i'r Gymanfa yr Adroddiad a ganlyn gan y Pwyllgor ar gael Cyfieithiad Diwygiedig o'r Ysgrythyrau.

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Liverpool, Mai 31—Mehefin 3, 1881, pasiwyd y penderfyniad canlynol:—"Ein bod o'r farn mai doeth fyddai penodi pwyllgor i gymeryd i ystyriaeth y priodoldeb o gael cyfieithiad diwygiedig o'r Ysgrythyrau Cymraeg, ac fod i'r pwyllgor hwnw ohebu a chydweithredu âg unrhyw frodyr a benodwyd neu a aller benodi gan unrhyw ganghenau eraill o eglwys Crist yn Nghymru, a dwyn adroddiad i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf, a bod y personau canlynol i ymgymeryd â gofal y gwaith hwn,—y Parchn. D. C. Davies, M.A., Lewis Edwards, D.D., T. C. Edwards, M.A., J. Harries Jones, M.A., PH.D., Daniel Rowlands, M.A., ac Owen Thomas, D.D. Y Parch. Daniel Rowlands yn gynnullydd."—Ymgyfarfu y pwyllgor uchod yn Liverpool, Mai 27, 1882. Yr oedd yn bresennol y Parchn. D. C. Davies, M.A., T. C. Edwards, M.A., J. Harries Jones, M.A., PH.D., Daniel Rowlands, M.A., ac Owen Thomas, D.D. —Etholwyd Dr. Thomas yn gadeirydd.—Cafwyd llawer o ymddyddan ar y mater a ymddiriedwyd i ofal y pwyllgor, a chytunwyd yn unfryd ar y penderfyniad canlynol:—Ein bod yn gwbl o'r farn mai dymunol fyddai gosod y cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau Sanctaidd yn nghyrhaedd ein cydwladwyr mewn diwyg mor berffaith ag sydd bosibl; ond yn gymaint ag nad ydyw hyd yn hyn wedi bod yn gyfleus i ni gyfarfod unrhyw frodyr o'r cyfundebau crefyddol eraill er cydystyried yr holl achos, nad ydym yn gweled y gallwn ar hyn o bryd awgrymu dim gwell nag fod y Gymanfa Gyffredinol yn ailbenodi y pwyllgor yma, neu yn penodi pwyllgor cyffelyb, i gymeryd gofal yr achos hwn eto, ac i ddwyn adroddiad i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf.—DANIEL ROWLANDS, *Cynnullydd.*

Cynnygiodd y Parch. D. M. Davies, Nantglyn, cefnogwyd gan y Parch. E. Parry, M.A., Drefnewydd, a phenderfynwyd,—Bod yr Adroddiad uchod yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo, a bod y Pwyllgor er cael cyfieithiad Diwygiedig o'r Ysgrythyrau yn cael ei ail benodi.

XLIV. Er mwyn cael cynllun unffurf rhwng Dê a Gogledd i godi pregethwyr, penderfynwyd ar gynnygiad y Parch. Griffith Ellis, M.A., Bootle, ac ar eiliad y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth,—Ein bod yn cyflwyno y mater i sylw Cymdeithasfa Chwarterol y De, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa, wedi rhoddi ystyriaeth bwyllog i'r mater, i nodi tri o frodyr o'u mysg i gyfarfod â'u gilydd i ystyried y Rheolau y penderfyner arnynt gan y naill a'r llall, ac i gyflwyno Adroddiad i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf.

Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod hwn mewn ymddyddan ar yr Ysgol Sabbothol, yn enwedig yr anghenrheidrwydd sydd arnom am ymegnïo ymhob modd er sicrhâu i ni athrawon a fyddant effeithiol a chymhwys i gyfarfod âg amgylchiadau ac anghenion neillduol ein pobl yn yr amseroedd hyn. Cafwyd hefyd anerchiadau ar ein dyledswydd fel Cyfundeb i arfer moddion effeithiol er dwyn yr efengyl o fewn cyrhaedd pob dosbarth o drigolion ein gwlad. Cymerwyd rhan yn y cyfarfod gan y Parchn. T. C. Edwards, M.A., T. Levi, Dr. Edwards, Roger Edwards, a Mr. Lloyd, Pentre Rhondda.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. William Pierce, Wyddgrug.

REES JONES, *Llywydd.*
THOMAS ROBERTS, } *Ysgrifenyddion.*
JOSEPH EVANS, }

---

## CYMDEITHASFA LLANGEFNI.

MEHEFIN 28, 29, A'R 30AIN, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

---

ADRODDIADAU A DDARLLENWYD.

*Y Genadaeth Gartrefol.*

Yr oedd yn bresennol, y Parchn. J. Thomas, B.A., Liverpool; Dr. Llugwy Owen, Conwy; John Richard Hughes, Caergybi; Mri. Thomas Lewis, Fron, Llangefni; E. T. Jones, Dinbych; Elias Williams, Caerlleon; Jacob Jones, Bala; E. Davies, Llwynderw, Llandinam; David Hughes, U.H., Liverpool; John Davies, Salford; y Trysorydd a'r Ysgrifenydd, ynghyd a nifer o aelodau Cyfeisteddfod Cronfa yr Achosion Seisonig. Derbyniwyd llythyrau yn cynnwys esgusodion am absennoldeb oddiwrth Mri. Roger Evans, Menai Bridge; W. Evans, Caerlleon; Robert Jones, Pwllheli; J. Jones, Ashlands, Croesoswallt; a'r cyn-Ysgrifenydd, y Parch. Joseph Jones. Dewiswyd Mr. Davies, Llwynderw, Llandinam, i lywyddu y ddau gyfarfod. Hysbyswyd fod y brodyr canlynol wedi eu dewis yn aelodau o'r Cyfeisteddfod am y tair blynedd nesaf,—y Parch. Dr. Llugwy Owen, dros Ddyffryn Conwy; Mr. E. Davies, Llandinam, dros Gŵr Uchaf Sir Drefaldwyn; a'r brodyr can-

lynol wedi eu hail ethol am yr un tymmor:—y Parch. J. Thomas, Liverpool, dros Henaduriaeth Lancashire; Mr. E. T. Jones, Dinbych, dros Ddyffryn Clwyd; Mr. Jones, Ashlands, dros Ran Isaf Sir Drefaldwyn; Mr. John Davies, Salford, dros Manchester. Y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaeth ag sydd i ethol neu ynte ail ethol aelodau i'r Cyfeisteddfod y tro nesaf ydynt, Sir Fôn, Dwyrain Meirionydd, Lleyn ac Eifionydd, a Henaduriaeth Trefaldwyn. Ail ddewiswyd yr un brodyr ag o'r blaen i fod yn Is-Bwyllgor, sef Mr. E. T. Jones, Dinbych, Mr. W. Evans, Caerlleon, a Mr. Jacob Jones, gan ychwanegu atynt y Parch. John Thomas, B.A., Liverpool, a Mr. John Davies, Salford. Penderfynwyd mai dymunol fyddai i Ysgrifenyddion y ddau Achos, sef y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig, drefnu gyda'u gilydd pa fis i gyhoeddi eu Hadroddiadau gyda'r DRYSORFA. Rhoddodd y Trysorydd, Mr. E. Griffith, Dolgellau, grynodeb o sefyllfa arianol y Genadaeth ar ddiwedd y flwyddyn:—

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mewn llaw ddiwedd y flwyddyn | 404 | 16 | 1½ |
| Cyfanswm y casgliadau ......... | 1529 | 18 | 4 |
| Llôg yr Ariandŷ ............... | 5 | 17 | 8 |
| | £1940 | 12 | 1½ |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cenadon a Gorsafoedd ......... | 1556 | 15 | 0 |
| Argraffu yr Adroddiad ..... | 25 | 9 | 6 |
| Yr Ysgrifenydd ................ | 20 | 0 | 0 |
| Costau Achlysurol ............... | 25 | 2 | 10 |
| Mewn llaw ......................... | 313 | 4 | 9½ |
| | £1940 | 12 | 1½ |

Ond yn gymaint nad oedd y gweddill mewn llaw yn ddigon i dalu y costau o ddechreu y flwyddyn, y mae yn ddrwg gan y Trysorydd orfod hysbysu y bydd yr £813 o bunnau, sef y gronfa neillduol a wnaed, wedi eu defnyddio yn llwyr o hyn i ddiwedd mis Medi, a hyny cyn y daw dim i law oddiwrth y Cyfarfodydd Misol. Dylid hysbysu fod y swm o £55 wedi ei dderbyn o Ran Isaf Sir Drefaldwyn wedi gwneuthur y cyfrif uchod i fyny, a rhoddir cyfrif o hono yn y lle priodol y flwyddyn nesaf. Hefyd, y mae y swm o £37 10s. wedi dyfod i law o Sir Fflint yn ychwanegol at yr hyn sydd eisoes wedi ei gydnabod yn yr Adroddiad. Swm y Casgliad Neillduol a wnaed at y Genadaeth yw £813 0s. 8½c. Diolchwyd i'r Archwilwyr, Mri. Robert Jones a Richard Owen, am eu gwasanaeth, a phenodwyd Mr. Edward Davies, gyda Mr. Robert Jones, i archwilio y cyfrifon am y flwyddyn ddyfodol. Penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd Cyffredinol i barotoi Llyfr yn cynnwys ffurf bwrpasol at wasanaeth y Trysoryddion lleol, a bod y Llyfr hwnw i gael ei argraffu a'i anfon i Drysoryddion y gwahanol Gyfarfodydd Misol a Henaduriaethau. Dadganwyd teimladau cynhes tuag at y cyn-Ysgrifenydd, y Parch. Joseph Jones, yr hwn o herwydd ei waeledd parhâus oedd yn analluog i fod yn bresennol; ac ar gyfrif ei wasanaeth gwerthfawr i'r Gymdeithas am y tymmor maith o 27 mlynedd, pasiwyd yn unfrydol ei fod i gael hanner y cyflog a dalwyd iddo o'r blaen. Ynglŷn â'r penderfyniad a basiwyd yn Nghymdeithasfa Llangollen, sef, fod i'r Ysgrifenydd dalu ymweliad â'r gwahanol Gyfarfodydd Misol ar ran y Genadaeth, i ddadleu teilyngdod yr Achos, hysbyswyd mai dymunol fyddai i'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau ei wahodd, a hyny ar yr adeg a ystyrir ganddynt hwy yn fwyaf manteisiol i hyny. Dymunir galw sylw y Gorsafoedd Cenadol at benderfyniad Cymdeithasfa'r Wyddgrug yn y flwyddyn 1876, sef y dysgwylir i bob eglwys ar y maes cenadol wneuthur casgliad neillduol at y Genadaeth yn flynyddol. Bu y Cyfeisteddfod yn ystyried yn bwyllog y Ceisiadau o'r gwahanol leoedd; a threfnwyd fel y canlyn:—LLEOEDD CYMREIG.—*Cyfarfod Misol Manchester*, Bolton, £20; Tyldesley, £20. *Cyfarfod Misol Liverpool*, Runcorn, £30; Widnes, £20; Earlstown a St. Helens, £70; Wigan a Skelmersdale, £50; Barrow a Dalton, £70; Millom, £35 hyd nes y ceir gweinidog, a dymunir ar i Gyfarfod Misol Liverpool yn y cyfamser arolygu y modd y treulir y swm hwn; Spennymoor a Witton Park, £80. *Cyfarfod Misol Sir Fflint*, Froghall, £20; Hanley, £40; Crewe, £40; Gwersyllt, £25. *Cyfarfod Misol Gwaelod Sir Drefaldwyn*, Wolverhampton a Bilston, £40; Albert Road, Croesoswallt (eglwys Seisonig), £20. *Cyfarfod Misol Sir Fôn*, Dublin, £60. *Cyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd*, Ynys Enlli, £50. LLEOEDD SEISONIG.—*Henaduriaeth Lancashire*, Bethlehem a Summer hill, £50; Holt a Glanypwll, £40; Tabernacl a Glanrafon, £50; Waverton a Saighton, £40; Saughall, £7 10s.; Wepre, £20, gyda dysgwyliad y gall y lle hwn wneyd yn hollol heb gynnorthwy y flwyddyn nesaf; Sion a Chaergwrle, £50; Bangor a Bowling Bank, £50; Salem, Marchwiel, £10; Hoylake, £50; Scarisbrick, £20. *Henaduriaeth Trefaldwyn*, Llanymynach a Gwernypant, £55, gyda'r dymuniad ar i'r Ysgrifenydd geisio gan y lle arall sydd dan ofal y Cenadwr dalu ryw gymaint o'r swm hwn; Coedway, £47 10s.; Frankwell, Amwythig, £40; Bethesda, £25; Mochdre, £15; Jerusalem, Trefaldwyn a Brooks, £40; Castell, £10; Groes, Geuffordd, Tabernacl, £50; Trallwm, £20. Penderfynwyd nad yw y *grant* i Rossett a Burton i barhâu. Hefyd i'r Parch. Lewis Parry, Glanypwll, £20; tuag at gladdu gweddw y diweddar Barch. John Jones, Runcorn, £7 10s. Cyfanswm, £1417 10s. Penderfynwyd nad yw y Trysorydd i dalu llôg hen ddyled Goror Sir Drefaldwyn hyd nes y caiff ef a'r Ysgrifenydd, ynghyd a'r Cadeirydd, foddlonrwydd fod yr arian yn daladwy o drysorfa'r Genadaeth. Dadganwyd llawenydd yn wyneb yr hysbysiad oddiwrth eglwys fechan Southport ei bod wedi penderfynu gwneyd heb *grant* y flwyddyn hon. Dymunir annog yr eglwysi sydd ar faes y Genadaeth i ymgais at lanw eu

pulpudau ar y Sabbothau, yn absennoldeb eu gweinidog eu hunain, gan y Cenadon sydd gyfagos iddynt mor fynych ag y byddo yn gyfleus, fel yr arbeder traul afreidiol i'r eglwysi ar y naill law ac i'r Cenadon ar y llaw arall.—ROBERT DAVIES, *Ysgrifenydd.*

*Yr Achosion Seisonig.*

Yr oedd yn bresennol,—O Fôn, y Parch. J. R. Hughes, Caergybi, a Mr. J. R. Davies, U.H., Treborth; o Leyn ac Eifionydd, y Parch. D. E. Davies, Pwllheli; o Arfon, Mr. Price, Bangor; o Ddyffryn Clwyd, Mr. T Roberts, Dinbych; o Ddyffryn Conwy, Mr. D. P. Davies, Ty'nycoed; o Sir Fflint, Parch. H. B. Williams, Wrexham; o Ddwyrain Meirionydd, Mr. R. Thomas, Penmachno; o Orllewin Meirionydd, Parch. D. Roberts, Rhiw; o Drefaldwyn Uchaf, Mr. Joseph Owen, Machynlleth; o Drefaldwyn Isaf, Parch. J. Prichard, Birmingham; o Liverpool, Mr. D. Roberts, U.H., Tan'rallt; o Manchester, Mr. W. Rowland, Manchester; o Henaduriaeth Lancashire, Parch. E. Jerman, Wrexham; o Henaduriaeth Trefaldwyn, Mr. R. Williams, Drefnewydd; yr Ysgrifenydd; ynghyd ag amryw o aelodau Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.

Etholwyd Mr. R. Williams, Drefnewydd, yn Gadeirydd.

1. Hysbyswyd fod y brodyr canlynol wedi eu dewis i fod yn aelodau o'r Cyfeisteddfod am dair blynedd:—Parch. E. Jerman, gan Henaduriaeth Lancashire; Mr. D. P. Davies, gan Gyfarfod Misol Dyffryn Conwy; Mr. T. Roberts, gan Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd; Mr. Joseph Owen, gan Gyfarfod Misol Trefaldwyn Uchaf; Mr. Jones, Ashlands, gan Gyfarfod Misol Trefaldwyn Isaf; Mr. W. Rowlands, gan Gyfarfod Misol Manchester. Hysbyswyd mai Sir Fôn, Sir Fflint, Dwyrain Meirionydd, a Henaduriaeth Trefaldwyn, sydd i ddewis aelodau y flwyddyn hon, 1882.—2. Rhoddodd Mr. David Roberts, ar ran y Trysorydd, olwg ter ar sefyllfa y Gronfa, gan ddadgan yr anghenrheidrwydd gofidus o ostwng y *grants*, a'r anghen am ymdrech adnewyddol i godi cyllid y Gronfa o'r ystad isel y mae ynddi yn bresennol. Hysbysid hefyd mai cyfanswm y derbyniadau y llynedd oedd £840, llai na'r un y flwyddyn o'r blaen o £225 4s. 8c., a llai na'r treuliadau o £26. Mae y £110 10s. 10c., gweddill yn y Banc sydd gan y Trysorydd, i gyfarfod galwadau 22 o leoedd hyd ddiwedd y flwyddyn, pryd y dysgwylir y casgliadau i law, yr hyn sydd yn fyr o tua £500. Yr oedd cyfanswm y ceisiadau am *grants* o'r Siroedd yn £950, tra nad oedd casgliadau y Siroedd yn unig y llynedd ond £674. Hysbysai yr Ysgrifenydd am y rhagolygon sydd am welliant yn y casgliadau. Mae Trefaldwyn Uchaf wedi chwanegu £17 yn y casgliad eleni; mae 30 o gyfeillion eisoes wedi addaw £1 yr un, a rhai £5 yr un, yn flynyddol yn Sir Fflint, yr hyn sydd yn arwyddo chwanegiad dymunol yn y Sir hono; a hyderir yn fawr y ceir lliaws o gyfeillion haelionus yn Siroedd Môn, Arfon, Lleyn ac Eifionydd, a Siroedd a threfydd eraill, a addawant symiau cyffelyb. Penderfynwyd fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo.—3. Fod gostyngiad i gael ei wneyd bob blwyddyn o'r *grants* am y flwyddyn flaenorol, yn ol £5 y cant, ar y swm gwreiddiol a roddwyd i'r lleoedd.—4. Derbyniwyd ymddiswyddiad y Parch. Maurice J. Evans, B.A., oddiwrth ofalu am yr eglwys yn Mhenmaenmawr.—5. Penderfynwyd fod y *grants* canlynol yn cael eu gwneyd:—Aberdovey, £40; Abermaw, £48; Bala, £27; Bangor, £30; Beaumaris, £48; Buckley, £40; Colwyn Bay, £40; Eto am un flwyddyn, £10; Criccerth, £10; Dinbych, £56; Dolgellau, £40; Ffestiniog, £32; Fflint, £40; Llandudno, £45; Llanfairfechan, £40; Llanidloes, £40; Eto am un flwyddyn, £10; Machynlleth, £40; Nantgwytheyrn, £40; Eto (cangen) Llithfaen, £10; Penmaenmawr, £48; Eto am un flwyddyn, £5; Pensarn, Rhosllanerchrugog, £40; Eto am un flwyddyn, £2 10s.; Rhyl, £40.—6. Fod y *grant* i Colwyn Bay i'w gweinyddu gan y Pwyllgor Sirol, mewn undeb â'r Ysgrifenydd Cyffredinol, yn y modd y barnont yn oreu er lles yr achos.—7. Fod y swm uchod o £40 yn cael ei roddi i Lanfairfechan, a bod y brodyr yno i ymgynghori â'r Pwyllgor Sirol yn ystod y flwyddyn, ac i wneyd y cyfryw drefniadau gyda golwg ar yr achos ag a fyddo yn foddhaol gan y Pwyllgor Sirol.—8. Fod yr Adroddiad i ymddangos yn y DRYSORFA am fis Awst.—9. Fod Mri. D. P. Davies, Ty'nycoed; T. Roberts, Dinbych; R. Williams, Drefnewydd, ynghyd a'r Trysorydd a'r Ysgrifenydd, yn cael eu hail ddewis yn Is-Bwyllgor.—10. Fod Adroddiad Seisonig i gael ei argraffu, a bod yr Is-Bwyllgor i benderfynu pa nifer o gopïau fydd yn eisieu.—11. Cydolygwyd ar fod pob un a roddo 2s. 6c. ac uchod at y Gronfa Seisonig i dderbyn copi o'r Adroddiad drwy y *post.*—12. Ein bod yn llawenhâu wrth ddeall fod bellach eglwys Seisonig wedi ei sefydlu yn Mangor, a bod ymdrech mor ganmoladwy wedi ei wneyd i adeiladu a dwyn traul addoldŷ mor hardd a theilwng o'r lle.—13. Ein bod hefyd yn mawr lawenhâu yn ngwyneb y wedd genadol sydd ar amryw o'n heglwysi Seisonig, ac yn dymuno ar yr holl eglwysi, mewn modd arbenig, feithrin yr ysbryd hwn, ac i drefnu eu hardaloedd yn ngofal ymwelwyr, yn y fath fodd ag i geisio ennill yr holl esgeuluswyr dan addysg cyson yr efengyl.—14. Fod Mr. R. Williams, Drefnewydd, a'r Ysgrifenydd, i alw sylw y Gymdeithasfa at yr Achosion Seisonig.—15. Fod Mr. T. Lewis, Vron, a Mr. Price, Bangor, i fod yn archwilwyr y cyfrifon am y flwyddyn ganlynol.—16. Ein bod yn cyflwyno diolchgarwch y Gymdeithasfa i'r Trysorydd Cyffredinol, Mr. J. Roberts, A.S., Bryngwenallt, ac i'r Archwilwyr, Mri. T. Lewis a J. Price, Bangor, am eu gwasanaeth gwerthfawr am y flwyddyn a aeth heibio.—17. Fod £5, sef hanner ei gyflog blynyddol, yn cael ei roddi i'r cyn-Ysgrifenydd, y Parch. Joseph Jones, Menai Bridge, yn ei gystudd presennol.—18. Diolchwyd i Mr. R. Williams am ei wasanaeth fel Cadeirydd.—R. WILLIAMS, *Cadeirydd;* L. ELLIS, *Ysgrifenydd.*

SYMUDIADAU GWEINIDOGION.

Y MAE cyfeillion y Tŷnewydd, Cwmogwy, wedi rhoddi galwad ar y Parch. Charles Williams, Porthcawl, Gorllewin Morganwg, i ddyfod i weinidogaethu atynt, ac yntau wedi rhoddi atebiad cadarnhäol.

Rhoddodd eglwysi Llwyngwril, Saron, a'r Bwlch, alwad ar Mr. Richard Rowland, Tanygrisiau (yr holl leoedd hyn yn Ngorllewin Meirionydd), fel gweinidog iddynt; ac yr oedd yr alwad yn gymeradwy iawn gan Gyfarfod Misol y parth hwnw.

Y mae Mr. Samuel Jones, Edeyrn, o Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd, wedi ymsefydlu yn weinidog ar eglwys Horeb, Llanfairfechan, Arfon.

Cynnaliwyd cyfarfod sefydliad Mr. Thomas Williams, Pontypool, fel gweinidog ar eglwys y Trallwm, mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yno yn nechre'r mis diweddaf.

Y mae Mr. Ebenezer Williams, Acrfair, perthynol i Gyfarfod Misol Sir Fflint, wedi derbyn galwad eglwys Llanwddyn, Trefaldwyn Isaf, i'w bugeilio.

Yr eglwys Seisonig yn Nghastellnedd a lwyddodd i sicrhâu gwasanaeth gweinidogaethol Mr. D. Elias, Merthyr.

---

HAELFRYDEDD.

YN Nghyfarfod Misol Sir Fflint, a gynnaliwyd yn Llanerchymor, pasiwyd yn wresog bleidlais o ddiolchgarwch i David Roberts, Ysw., o Liverpool a Thanyrallt, Abergele, am ei rôdd haelionus o dir yn gystal â cheryg, i godi adeilad tuag at gadw Ysgol Sabbothol, a moddion eraill, yn ardal y Castell, Bodffari.

---

YSGRIFENYDDIAETH CYFARFOD MISOL SIR BENFRO.

AR ol deng mlynedd o wasanaeth medrus a ffyddlawn fel Ysgrifenydd Cyfarfod Misol Sir Benfro, rhoes y Parch. J. R. Owen y swydd i fyny yn ddiweddar; a chyflwynwyd diolchgarwch gwresog y Cyfarfod Misol iddo am ei lafurwaith gwerthfawr yn hyn o ran. Dewiswyd y Parch. W. Morris, Llandudoch, fel ei olynydd.

---

MARWOLAETHAU BLAENORIAID.

NOS Sadwrn, yr 22ain o Orphenaf diweddaf, bu farw Mr. ROGER EVANS, Craig Owen, Pont Menai, yn 74 mlwydd oed. Yr oedd wedi dyoddef llawer gan anhwyldeb corfforol er ys amryw flynyddoedd, ac yn amlwg er ys misoedd ei fod yn gwaethygu yn fawr; ond yr oedd efe yn hynod dawel ac ymostyngar i ewyllys yr Arglwydd o ran ei feddwl, ac yn nghanol pob nychdod a phoenau yn aros heb ei symud oddiwrth obaith yr efengyl. Yr oedd Mr. Evans yn fab i'r diweddar Mr. Thomas Evans, Maesycoed, Caerwys, Sir Fflint, hen flaenor enwog am ei alluoedd meddyliol a'i wybodaeth dduwinyddol, a'i weithgarwch gyda'r achos crefyddol. Efe a adawodd Sir Fflint yn ŵr ieuanc mewn cymhariaeth, ac a drigodd yn Môn hyd ei farwolaeth, yn gyntaf yn nghymydogaeth Llangefni, wedi hyny yn Mhorthaethwy neu Bont Menai, lle y dewiswyd ef yn flaenor eglwysig, ac y bu am flynyddoedd yn weithgar iawn fel y cyfryw. Oddiyno symudodd i'r Frongoch, gerllaw Pentraeth, gan barhâu a chynnyddu mewn defnyddioldeb cyhoeddus. Yna dychwelodd i Bont Menai, ymha le, er mor anhwylus o ran ei iechyd yn ei flynyddoedd diweddaf, yr oedd yn parhâu mewn llafur cariad dros enw ei Waredwr hyd derfyn ei daith. Ystyrid ef fel un o brif flaenoriaid y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru. Gwasanaethodd fel trysorydd Cymdeithasfa'r Gogledd am hir flynyddoedd; ac yn Nghymdeithasfa Caernarfon y flwyddyn ddiweddaf cydnabyddid ei ffyddlondeb yn y swyddogaeth hono trwy ei anrhegu â'i ddarlun gydag anerchiad priodol. Cafodd gladdedigaeth o'r fath fwyaf parchus; tyrfa fawr o'i frodyr a'i gyfeillion wedi dyfod ynghyd i anrhydeddu ei goffadwriaeth. Yn y Cyfarfod Misol cyntaf a gynnaliwyd yn Môn ar ol ei farwolaeth, gwnaed coffhâd hiraethlawn a hynod barchus am dano. Dywedid ei fod yn un o'r dynion mwyaf crefyddol a llafurus, ac yr ystyrid ef ar y blaen yn Môn mewn gweithgarwch gyda holl achosion y Cyfundeb, ac mewn haelioni at bob achos da. Ar yr un pryd dygid tystiolaeth i dduwioldeb a gwasanaethgarwch y diweddar Mr. E. WILLIAMS, yr hwn oedd flaenor yn yr un eglwys â Mr. Evans.

Dydd Mercher, yr 2il o Awst, bu farw Mr. WILLIAM MORRIS, Pant-tywyll, Merthyr tydfil, yn 83 mlwydd oed. Yr oedd Mr. Morris yn frodor o Sir Benfro; a phan oddeutu ugain oed, daeth i gadw ysgol ddyddiol yn Cwmtaf Fawr, o ba le y symudodd cyn hir i Gefncoedycymer, lle y bu ei ysgol o werth anmhrisiadwy i gannoedd lawer. Ennillodd radd dda fel blaenor eglwysig, ac felly hefyd fel dirwestwr, ac, yn wir, ceid ef yn cefnogi pob achos da oedd gyrhaeddadwy iddo, ac yn wastad ar y blaen ymhob symudiad dyngarol, rhinweddol, a haelfrydig. Yn ei hen ddyddiau daeth allan yn ystwyth fel Temlydd Da, ac felly hefyd gyda Byddin y Ruban Glas. Yn holl achosion y Cyfundeb yr oedd yn teimlo ac yn arddangos dyddordeb arbenig, ac felly yn neillduol yn y Cenadaethau Tramor a Chartrefol. Ymhob ymddygiad a thrafodaeth yr oedd yn un gwir foneddig; ac fel cyfaill serchog, fel tangnefeddwr, ac fel gŵr llettŷgar, yr oedd efe yn wir ragorol. Bydd yn chwith gan laweroedd ar ei ol. Ar ddydd y claddedigaeth daeth tyrfa lïosog ynghyd i hebrwng ei weddillion marwol i dŷ ei hir gartref.

Yn nechre'r mis diweddaf, bu farw Mr. HUGH JONES, Maesyffynnon, Dolgellau, yn

69 mlwydd oed, yr hwn oedd ddiacon ffydd lawn yn nghapel Salem yn y dref hono. Yr oedd efe yn cynnrychioli ei Gyfarfod Misol yn Nghymdeithasfa Llangefni y mis diweddaf, ac yr oedd yn bresennol yn Nghyfarfod Misol y Gareg Ddu yn mis Gorphenaf; ond cyn y Cyfarfod Misol canlynol wedi myned i "gymanfa a chynnulleidfa" cyntafanedigion y nefoedd. Yr oedd yn ŵr o farn bwyllog, ac â'i holl egni gyda pha beth bynag yr ymaflai ei law ynddo, ac felly fel masnachwr gallodd ennill cyfoeth lawer. Diau y teimlir colled am ei gynghorion diogel yn y cylchoedd crefyddol yr oedd yn troi ynddynt. Yr oedd ei dad, y diweddar Mr. Edward Jones, yn flaenor cymeradwy yn eglwys Dyffryn Ardudwy.

---

MARWOLAETH PREGETHWR.

Ar yr 2il o Orphenaf, bu farw y Parch. William Williams, Summer Hill, gerllaw Gwrecsam, yn 76 mlwydd oed. Yr oedd efe yn Nghaerwys Sabboth y 25ain o Fehefin; ac yno yn y capel y noson hono, cafodd ergyd o'r parlys. Wedi ei anfon adref, myned yn waelach a wnaeth, nes iddo huno yn yr Iesu y Sabboth canlynol. Yr oedd Mr. Williams yn ŵr cyfrifol a pharchus, â chanddo ddynoliaeth dda, o duedd lednais a serchog, ac ymddygiad boneddigaidd. Rywfodd, ni chyrhaeddodd sylw ac enwogrwydd yn y pulpud, er y gwelid yn eglur fod ei amcan yn dda a chanmoladwy. Yn ei gartref a'i gymydogaeth, yn nghapelau y Cerni, Summer Hill, a'r Gwersyllt, yr oedd mewn gwahanol ffyrdd yn ddefnyddiol iawn; a theimlir yno, fod ei ymadawiad, er yn ddiddadl yn elw iddo ef, yn golled fawr i'r achos goreu. Yr oedd ei gladdedigaeth yn un mawr iawn a pharchus.

---

# Amrywiaethau.

CYFFELYBRWYDD WYNEB.

Nid ydym yn cael hyd yn nôd y plant sydd efeilliaid yn hollol yr un fath. Maent yn gyffredin yn debyg iawn i'w gilydd o ran ffurf; a phan eu ceir felly, byddant yn debyg o ran talentau, tueddiadau, tymher, a thôn llais, a hyny dybygid i'r gradd manylaf. Er hyny i lygad craff darllenydd wyneb *(physiognomist)*, ac yn fwy felly i welediad mwyaduro! *(microscopic)* cariad mam, canfyddir y gwahaniaeth yn eu gwynebwedd; ac yn ol hyny y ceir hwynt yn gwahaniaethu mewn medr a thueddfryd. I'r sylwedydd arwynebol, gall y plant fod mor debyg fel ag i'r naill adlewyrchu delw'r llall megys mewn drych; ond ymgynghorwch â'r hon a'u hymddŷg ac a'u maethodd, ar y pwnc hwn, a chwi a gewch ar unwaith eu bod yn cael eu gwahaniaethu yn rhwydd gan yr hoff edrychiad mamaidd, a'i bod hi yn canfod gradd mwy o dynerwch, neu fwy o ystwythder tymher, yn y naill nag yn y llall; a gofynwch i'r profedig fel darllenydd wyneb, a bydd efe yn alluog i gadarnhâu tystiolaeth y fam, ac i fyned gam ymhellach, trwy nodi allan pa fodd y gŵyr fod James yn fwy am ei ffordd ei hun, ac heb fod mor hywaith â John.—Allan o'r *The Mind in the Face, by W. Mc Dowall.*

PA FODD I GYRHAEDD HENAINT YN GYSURUS.

Y Parch. Daniel Waldo a ddywedai unwaith, "Yr wyf bellach yn hen ŵr; gwelais yn agos i gan' mlynedd. A oes arnoch chwi eisieu myned yn hen, a hyny yn gysurus? Gadewch i mi ddyweyd wrthych pa sut. Bwytewch yn araf yn wastad; mynwch gnoi yn dda. Ewch at eich gwaith gan wenu. Cedwch natur dda a thymher dawel ymhob man. Amaethwch gôf da; a thuag at wneyd hyny, rhaid i chwi fod yn rhydd i adrodd a thraethu. Mynegwch yr hyn a ddarllenir genych; siaradwch yn ei gylch. Yr oedd côf hynod Dr. Johnson i'w briodoli i'w waith yn rhoi allan y wybodaeth a dderbyniai."

PEDAIR CLUST.

Dywedai gweinidog wrth anerch plant, "Y mae gan blant bedair o glustiau: mae eu llygaid hwynt yn glustiau. Y maent yn gwrando â'u llygaid. Os gwelwch chwi blentyn yn edrych ar y llefarwr, gellwch fod yn sicr fod hwnw yn gwrando arno." Da fyddai i lawer mewn oed ddeall a chofio hyn pan yn nhŷ yr Arglwydd ar y Sabbath, ac, yn wir, i rai a fydd yno yn y sêdd fawr, y sêdd dan y pulpud. Gwrandewch â'ch llygaid yn gystal âg â'ch clustiau. Os na wrandewch chwi â'ch llygaid yn ogystal ag â'ch clustiau, bydd eich meddyliau yn debyg iawn o grwydro i gyrau'r byd.

HELPIO'R PREGETHWR.

Pan yr oedd gweinidog yn y pulpud yn ei le cartrefol, yn nghanol ei bregeth wrth edrych i fyny tua'r oriel, bu fawr ei syndod a'i chwithdod wrth ganfod yno ei fachgen bychan, tua phum' mlwydd oed, ar ymyl yr oriel yn lluchio at y bobl oedd ar lawr gyda chnau ceffylau. Tra yr oedd y gŵr da yn sefyll yn ddystaw, ac yn myned i beri iddo ddyfod oddiyno, dyma'r gŵr bach yn gwaeddi allan, "Peidiwch chi stopio efo gethu, dada; gnâf fi eu cadw nhw 'n neffro."

GWERTH CYNNEFINDOD.

Yr oedd cwmni o foneddigesau, oll ar unwaith yn siarad eu goreu yn ngorsaf rheilffordd un prydnawn, pan y dywedodd un o honynt wrth foneddwr mewn oedran oedd yn eistedd gerllaw iddynt, "Mae arnaf ofn fod ein siarad ni fel hyn yn eich aflonyddu chwi" A'i ateb ef ydoedd, "O nac ydyw, *ma'am*, o ran yr wyf fi wedi priodi er ys tua deugain mlynedd."

## DOSBARTH SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, MEHEFIN 10FED, 1882.

YN mis Mai derbyniasom i'r eglwys ar brawf bedwar o bersonau—dau ddyn ieuanc a merch ieuanc o Myllim, a'r llall o Sadew. Yr oedd Mr. Griffith Hughes a Mr. John Roberts yn dygwydd bod yma y noswaith y derbyniwyd hwynt. Holodd Mr. Roberts hwynt yn fras, ac weithiau yn fanwl, yn hanes Iesu Grist o'r dechreu hyd ei farw ar Galfaria, ac yr oeddent yn ateb yn lled dda, yn enwedig y lleiaf o'r ddau ddyn ieuanc a'r ferch. Yr oedd rhywbeth tra boddhaol yn y ddau hyn ac yn eu hatebion. Yna rhoddodd Mr. Hughes gynghorion priodol i bob un o honynt. Mae y ddau olaf hyn wedi dyoddef nid ychydig oblegid troi yn Gristionogion, ond cawsant nerth i ddal y brofedigaeth yn dda. Tua mis Medi diweddaf rhwymwyd y bachgen fwy nag unwaith, a churwyd ef yn dost gan ei berthynasau, er ceisio ganddo adael y Llyfr a pheidio myned i'r ysgol; ond dal i fyned yr oedd er yr holl guro, a chan na adawent lonydd, cynghorodd y cyfeillion ef i redeg ymaith i Mawphlang, ac yno y bu yn llechu am enyd. Tra yr oedd yno cydymgynghorodd ei berthynasau yn ei gylch beth a wnaent yn ei achos, a daethant i'r penderfyniad mai y peth goreu oedd ei adael i fyned i'r ysgol a throi yn Gristion hefyd, os hyny a fynai; ac anfonasant i'w gyrchu o Mawphlang, gan ei hysbysu y gadawent lonydd iddo i fyned a dysgu fel yr ewyllysiai; ac yn ei ol y daeth, a chyda'i deulu y mae yn byw yn awr.

Mae yn Myllim yn awr chwech o Gristionogion—pump o ddynion ac un ferch; ond rhai lled ieuainc ydynt oll—nid oes yn eu plith eto un gŵr na gwraig mewn oedran. Mae hyn yn beth sydd yn dygwydd yn fynych, mai rhai ieuainc yw y rhai cyntaf i droi yn Gristionogion mewn pentrefi, a rhai hŷn yn eu dilyn. Mae hyn i'w briodoli, mae yn debyg, i addysg a dylanwad yr ysgolion ar yr ieuenctyd yn y Bryniau.

Dyn canol oed o bentref Sadew oedd y llall; yr oedd yn y pentref hwn dri neu bedwar o Gristionogion ieuainc yn flaenorol, ac yn awr dyma ddyn mewn oed yn ymuno â hwy, yr hyn, yr ydym yn gobeithio, fydd yn gymhorth a chefn iddynt yno. Gall ef ddarllen y Testament, ac y mae yn ŵr lled ddeallus ac o beth dylanwad yn y pentref. Dywedai wrth gael ei holi nad ydoedd crefydd y Khasiaid yn gwneyd un daioni i neb, nad oedd yn gwella dim ar neb, ond yn eu gwneyd yn waeth, nad oedd ynddi un gallu i symud ymaith bechod; ac hefyd nad oedd ynddi un gobaith i ddyn ar ol iddo farw, mai tywyllwch ac anobaith a thrueni oedd y cyfan: ond fod crefydd yr Iesu yn gwella y rhai oedd yn ei derbyn ac yn ei byw,—fod marwolaeth yr Iesu dros bechod yn ei symud ymaith, ac yn agor y ffordd i fywyd tu draw i farw; a'i fod ef yn dyfod ato fel yr oedd, ei fod wedi darllen am dano yn galw ato bawb oedd yn flinderog ac yn llwythog ac y byddai iddo roddi esmwythdra a gorphwysdra i'w henaid; ei fod ef yn llawn o bechodau, ac anwireddau, a chelwyddau, a'i fod yn dyfod at Dduw oedd yn addaw maddeu y cyfan, a gwella ei galon. Dywedai fod ei deulu yn dra blin ei fod yn troi, ond ei fod yn credu y rhoddai yr Iesu nerth iddo i fod yn ffyddlawn, ac i beidio siarad yn arw wrthynt, ond bod yn dawel ac amyneddgar, a cheisio eu denu hwythau at yr Iesu.

Dydd Gwener, Mehefin 16eg, aeth Mrs. Jones a minnau i ymweled â phentref Myllim, ac arosasom yno hyd hanner dydd dranoeth. Cyrhaeddasom yno oddeutu un o'r gloch; ac ar ol cael cwpanaid o de, aethom i ymweled â rhai teuluoedd y gwyddem eu bod gartref—yr oedd y bobl agos oll gyda'u gorchwylion yn y meusydd. Aethom i dŷ un cwpl hen iawn—mae y ddau dros 70 mlwydd oed—a chaed ymddyddan â hwynt am tua dwy awr. Mae y ddau hyn yn dyfod i'r gwasanaeth ar y Sabboth yn lled gyson er ys tro, wedi rhoi goreu i aberthu i'r demoniaid, ac yn rhyw rwbio a dwndro ynghylch crefydd yr Iesu; ac yr ydym yn hyderu y deuant ato i gael eu cadw cyn llithro i dragywyddoldeb. Buom yn siarad am tuag awr gyda theulu arall ar yr un mater. Yr oeddem wedi bod gyda hwynt droion o'r blaen; maent hwythau yn dyfod yn achlysurol i'r cyfarfodydd. Yna aethom i dŷ arall, a chaed yno gwmni lliosocach; ac yn eu plith yr oedd dau o offeiriaid y pentref. Fe gafwyd yma ymgom faith, pryd yr aethum dros hanes creadigaeth y byd, a dyn a'i wraig, eu dedwyddwch, a'u cwymp a'u trueni, sefydliad aberthu a'i ddyben, ac aberth mawr yr Arglwydd Iesu, a gwrandawent yn astud ar yr hanes rhyfedd. Yna rhoddais iddynt beth o hanes hen grefydd y Derwyddon a'u defodau, er dangos nad oedd pobl Ewrop ddim bob amser yn ddoeth a galluog a medrus, fel y maent yn bresennol, ond mai Gair Duw a'r ysgol oedd wedi eu dysgu. Yr wyf yn cael fod adrodd hanesion fel hyn yn fwy effeithiol na dadleu gyda hwynt, os gellir llwyddo i'w cael i ddechreu gwrando yn astud, a pheidio siarad llawer. Synent yn ddirfawr fod y *Fereng* (yr Ewropëaid) wedi bod yn anwybodus fel y Khasiaid, ac fod yn rhaid fod rhywbeth yn y Llyfr, gan iddo eu dysgu fel y mae wedi gwneyd. Erbyn

hyn yr oedd wedi tywyllu, ac aethom i'r tŷ yr oeddem i gysgu ynddo. Ar ol bwyta *rice* a *jam*, a thipyn o fara ac ymenyn a the, dechreuwyd arni drachefn; ac yr oedd y tŷ yn lled lawn o bobl, ac yno y buwyd yn siarad ac yn ymddyddan ac yn egluro nes yr oedd yn hwyr.

Tua hanner awr wedi chwech yr oedd y plant yn yr ysgol bore dranoeth. Gallai deg o honynt ddarllen y Testament yn lled dda, ac ysgrifenu tipyn, a gwneyd ychydig o rifyddiaeth; yr oedd y gweddill o'r plant yn dysgu mewn llyfrau llai. Yr oedd yma hefyd rai dynion mewn oed yn gallu darllen, a darllenent gyda'r plant. Yr oedd yma hefyd nifer o enethod yn dysgu, a gallai pump o honynt ddarllen y Testament. Wedi canu nifer o hymnau a gweddïo gyda'r plant, gollyngwyd hwynt ymaith; ac yna fe gafwyd cyfarfod gyda rhai mewn oed am tuag awr. Yr oedd yno nifer da wedi dyfod ynghyd, — y Cristionogion a'r ymgeiswyr, ac eraill. Ymddengys fod yma nifer o feibion a merched yn cadw y Sabboth er ys tro hir, ac yn dyfod i'r holl gyfarfodydd yn rheolaidd, a'u bod yn ymgeiswyr am dderbyniad i'r eglwys; ac fod yn eu plith rai penau teuluoedd, yn wŷr ac yn wragedd. Mae yr athraw sydd yma yn gweithio yn dda iawn—yn dda gyda'r ysgol ac fel Cristion.

Ar ol cael tamaid, aethom i ran arall o'r pentref, a chawsom gyfarfod gyda nifer ar fatiau yn *front* rhyw dŷ. Ymhlith y gwrandäwyr yr oedd dwy hen wraig—un wedi dechreu myned i wrando ar y Sabboth, ond y llall yn gwrthod myned yn bendant, ac arferai ei holl ddylanwad i rwystro eraill i fyned. Yr oedd rhai o'i pherthynasau yn arfer cadw y Sabboth; ac O mor flin a digllawn oedd yr hen wraig wrthynt am wneyd! Taerai yn ddi-ildio nad oedd y cyfan ond ffug; nad oedd dim gwirionedd yn y grefydd hon; fod y grefydd Khasi yn llawer gwell, ac yn fwy cymhwys iddynt; nad oedd hon yn gorchymyn gorphwys ar y Sabboth, nac yn gwahardd hyn a'r llall, ond yn gadael i ddyn wneyd fel y mynai; mai felly yr oedd ei hynafiaid hi wedi arfer gwneyd, a'i bod hithau am wneyd yr un modd, a hyny hyd y diwedd, pa un bynag ai dedwydd ai annedwydd a fyddai ar ol marw; y cai yr un dynged â'r gweddill o'r Khasiaid, ac y byddai hi yn foddlawn ar hyny. Wedi siarad a siarad gyda hi, addawodd yn y diwedd yr äi i'r cyfarfodydd dranoeth i glywed beth oedd yn cael ei ddyweyd yno. Rhyngom a'r ffordd yr oedd caeau tatws, a nifer o ferched yn brysur yn eu codi ac yn eu cario adref, a gelwais heibio iddynt. Yr oedd un o honynt yn hen wraig oedd yn casâu crefydd y Llyfr â chas mawr, ac yn ei chasâu yn fwy am fod un o'i meibion wedi troi yn Gristion rai misoedd yn ol. Ni chodai ei phen, ac ni siaradai air â mi. O'r diwedd hi a gododd ei phen ac a edrychodd arnaf, ac yr oedd digofaint yn llonaid ei gwynebpryd. Dechreuais siarad â hi am y tatws a phethau eraill oedd yn tyfu yn y caeau, a'i chanmawl am lafurio mor dda—canmawl ei mab oedd wedi troi yn Gristion; yna dywedais, "Byddwch chwithau hefyd a'r plant eraill wedi troi yn Gristionogion cyn hir." Rhoes i mi y fath edrychiad, a safodd yn syth, a dywedodd, "Y fi droi yn Gristion! y fi fyned i'r ysgol a dysgu! y fi beidio gweithio ar y Sabboth!" "Ië," meddwn, "yr ydych yn sicr o ddyfod." "Wel," meddai, "os bydd i mi ddyfod, bydd yn rhaid i Dduw fy nghyfnewid i oll, a'm gwneyd o'r newydd." Ac fe ddywedodd y gwir yn hyn,—rhaid troi y bobl hyn a'u gwneyd o'r newydd; ac fe all gras yr Iesu wneyd hyn. Pan oeddwn ar fyned ymaith, gofynodd a gymerwn ychydig o datws ganddi. Dywedais y byddwn yn ddiolchgar iawn iddi am danynt. Yr oeddwn yn tybio fod ei gwyneb dipyn yn wahanol wrth roddi y tatws. Gall Ysbryd Duw fendithio hyn i'w dwyn at yr Iesu.

---

## DOSBARTH KHADSAWPHRA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. GRIFFITH HUGHES, DYDDIEDIG NONGRYMAI, 15FED MEHEFIN, 1882.

NID oes dim neillduol i'w hysbysu am yr achos yma y tro hwn; pob peth yn debyg i arfer. Am y ddau fis diweddaf y mae y bobl yn y rhanbarth hwn yn brysur drin y tir ac yn hau—yn gweithio o fore glas tan nos; oblegid oni bydd yr had i lawr cyn diwedd Mai, ni cheir cnwd. Felly nid oedd y moddion ganol yr wythnos yn cael eu mynychu cystal ag arferol, ac nis gellid cael ysgol ond yn y bore. Bu genym y gorchwyl galarus o ddiarddel tair o wragedd — dwy o honynt am feddwdod. Fel y crybwyllwyd o'r blaen, meddwdod yw pechod mawr Khadsawphra, ac y mae y demtasiwn yn fwy yn adeg hau a medi. Bydd y gwahanol deuluoedd yn helpu eu gilydd y pryd hwn, ac yn bwyta gyda eu gilydd y nos. Wrth gwrs rhaid cael diodydd meddwol y pryd hwn yn gystal ag yn y caeau yn ystod y dydd, ac y mae yr hen Adda yn rhy gryf i rai o'r Cristionogion weithiau. Yr oedd cwynion yn erbyn y ddwy hyn er ys llawer o amser, ac nis gellid eu goddef yn hŵy heb dynu ymaith y gwahaniaeth rhwng byd ac eglwys.

Y dyddiau hyn nid ä neb allan wedi iddi dywyllu, a rhaid cynnal y moddion yn y dydd am ryw amser, am fod teigr mawr yn ymweled â'r pentref bob nos. Y mae wedi cario ymaith wartheg a moch, ac wedi ceisio tori i un tŷ. Torodd dwll yn y mur clai, ond methodd a thori i mewn, ac y mae y pentref a ninnau mewn cryn ofn, oblegid y mae yn dyfod o amgylch ein tŷ ac unwaith i'r *verandah*. Nid yw wedi lladd yr un dyn eto fel y gwnaeth ddwy flynedd yn ol, a gobeithio y cedwir ef rhag cael bywyd dynol beth bynag.

Y mae yr achos yn Nongthymai yn ymadnewyddu. Daeth un dyn ieuanc oedd wedi gwrthgilio, er ys llawer o amser, yn ol i'r eglwys. Yr oedd hwn yn wahanol iawn i'r cyffredin fydd yn gadael yr eglwys. Yr oedd yn dilyn pob moddion yn gyson yr holl amser, ac nid ymroddodd i anfoesoldeb fel eraill. Dywedai mai digalondid a barodd iddo adael yr eglwys—teimlo ei fod yn rhy annheilwng; ond yn awr yr oedd yn rhoddi ei hunan i Grist, gan ymddiried yn hollol ynddo Ef, ac yn ymuno â'r eglwys er dangos ei fod yn ddilynwr iddo. Y mae rhai o'r newydd yn dyfod i wrando yno, ac y maent yn ail adeiladu yr ysgoldŷ neu y capel mewn lle arall nês at y bobl. Y mae pentref Nongthymai yn dair rhan, yn debyg i dri throed trybedd, fel y dywedir, ac agos i filldir rhwng y naill a'r llall. Un rhan yw y pentref Cristionogol, y llall yw Nongsopih a'r llall Nongpryndiang. Yn awr y mae y Cristionogion yn symud yr ysgoldŷ a'u tai i fryn rhwng y ddau bentref arall, er bod yn gyfleus i'r plant i dd'od i'r ysgol ddyddiol a'r bobl mewn oed i wrando. Addawa amryw ddyfod i wrando ond i'r capel fod yn nês. Adeiledir y capel newydd o goed, a rhoddir llawr coed iddo yn lle yr hen un o fatiau wedi eu dwbio â chlai a llawr pridd.

Y mae y cymhorth a addawodd y cyfeillion gartref oddeutu blwyddyn a hanner yn ol yn dyfod yn amserol iawn. Y maent yn parotoi y coed ac yn adeiladu eu hunain; ac nid ychydig o draul yw hyny. Ac wrth roddi y cymhorth hwn, gallaf sicrhâu y cyfeillion mai nid helpu diogi y maent yn hyn.

Y maent hefyd yn ail adeiladu ysgoldŷ Mairang, ac yn ei wneyd yn llawer gwell na'r hen un. Ond yma yr ychydig Gristionogion sydd yn gwneyd y cwbl. Nid oes neb o'r Paganiaid yn eu helpu, er eu bod yn gweled yr ysgoldŷ agos â syrthio i lawr. Yn Nongthymai y mae pawb yn helpu, er fod pwys y gwaith a'r draul ar y Cristionogion.

Y mae y tymmor hwn yn dymmor priodasau yn Khasia y flwyddyn hon. Bum mewn tair o honynt o fewn pymtheg niwrnod yn ddiweddar. Yr oedd priodas U Johon, nai offeiriad a llywodraethwr Mawphlang, â Ka Rajeh, morwyn Dr. Griffiths. Yr oedd Dr. Griffiths yn wael, ac yn ofni nas gallai weinyddu; ac anfonodd ataf i ofyn a ddeuwn yno erbyn y Sabboth, a chyflawni y seremoni ar y Llun, oni byddai ef wedi gwella. Ond pan ddaeth y llythyr yma, yr oeddym ni yn parotoi i fyned yno, gan fod Mrs. Hughes heb fod yn iach. Yr oedd yn dda genyf fod Dr. Griffiths wedi troi ar wella erbyn i ni fyned yno. Y Llun canlynol cymerodd y briodas le. Aed yn orymdaith trwy y pentref i'r ysgoldŷ, a'r bobl oll wedi codi o'u tai, ac yn sefyll o bob tu i'r ffordd. a'r priodfab yn galw arnynt ei egni, "Deuwch i'r ysgoldŷ." Gorlanwyd y capel ar unwaith, a buont yn gwrando yn astud iawn trwy yr holl wasanaeth. Y mae fod U Johon wedi priodi yn gyfnerthiad i'r achos yn Mawphlang. Nid oes sefydlogrwydd yn perthyn i'r un achos yma oni fydd teuluoedd wedi ymgysylltu âg ef. Yn awr y mae tri theulu yn perthyn i'r eglwys yn Mawphlang, ac y mae yr achos yn dechreu ymgadarnhâu yno.

Y Llun canlynol aethum gyda Mr. Jerman Jones i Cherra, er adolygu y cyfieithiad o Lyfr Exodus; a daeth Mrs. Jones gyda ni. Buom yn ddygn wrthi hyd yn hwyr yr wythnos hono gyda'r gorchwyl hwn.* Bum yno mewn un cyfarfod eglwysig, ac yr oeddwn yn gweled yr achos yn edrych yn bur siriol—nifer mawr wedi dyfod ynghyd, yn enwedig o bobl ieuainc, o'r rhai yr ydym yn dysgwyl athrawon i'n hysgolion. Ddydd Gwener cymerodd priodas le yma hefyd, sef priodas U Khsan, bachgen o Mawreng sydd yn yr Ysgol Normalaidd, yr hwn sydd yn frawd i U Kher, yr efengylydd yn Sohbar, â Ka Murbon, yr eneth y bu raid ei danfon o Mawphlang oblegid bygythion ei thad am iddi droi yn Gristion. Yr oedd yn dda iawn genyf weled ei thad yn y briodas, a deall fod ei wrthwynebiad wedi lleddfu i raddau. Dychwelais o Cherra y Sadwrn; a dydd Llun cyrhaeddasom adref mewn gwell iechyd na phan yn gadael.

O. Y.—Y mae genyf i ddiolch yn gynhes am y rhoddion lïosog a thra phriodol a anfonwyd i ni. Y maent yn werthfawr a defnyddiol iawn i'r tlodion a phlant yr ysgol; a llyfrau gwerthfawr i'r efengylwyr a'r athrawon. Da iawn oedd anfon defnyddiau, ac nid dillad, allan. Trwy hyn gellir eu gwneyd yn ddillad priodol i'r

* Yr oedd yr hen ŵr dall gyda ni; ac yr oedd yn werthfawr i ni gyda rhoddi y cyfieithiad mewn priod-ddull *(idiom)* Khasiaeg briodol.

Khasiaid; tra ar yr un pryd y mae yn rhoddi moddion i ddysgu gwnïo i'r genethod. Nid oes yma neb yn gallu gwnïo ond a ddysgir yn yr ysgolion, oddieithr pobl Jaintia. Nid oes genyf enwau pawb a roddasant y pethau a anfonwyd i ni yn y bocs, yr hwn oedd yn cynnwys y pethau canlynol:—*prints, calico, muslins, brown holland, linseys,* nodwyddau, edau, gwnïaduron, sisyrnau, *pens, penholders, pencils* a *slate-pencils,* papyr ysgrifenu a botymau. Cefais enwau y cyfroddwyr canlynol ar rai o'r parselau:—The Misses Burrell, Cwmystwyth; The Misses Jones, Croesoswallt; the Misses L. a R. Owen, Penparciau, Aberystwyth; The Misses Evans, 15, Hill Terrace, Ceinewydd; Miss Gwen Beynon Davies, Angel House, Ceinewydd; Miss Jane Griffiths, Glannant, Ceinewydd; Miss Annie Thomas, Great Darkgate St., Aberystwyth; Mrs. Sophia Williams, Eagle House, Aberystwyth; Miss Griffiths, Beehive, Bangor; Mrs. Thomas, Llan——; Mrs. and the Misses Thomas, Myrtle St., Liverpool; Mr. E. Roberts, Llys Aled, Rhyl; Mr. Thomas Powell, Llanwrtyd.

---

## DOSBARTH JIWAI.

Llythyr oddiwrth y Parch. John Jones, Gorphenaf 6ed, 1882.

Dyma wyl fawr flynyddol pobl Jiwai drosodd unwaith eto, sef y *beh-dïng-khlam* (ymlid y *cholera* ymaith o'r pentref). Da fuasai genyf pe hwn fyddai y tro olaf. Buaswn yn canu cnul ei marwolaeth gyda llawenydd a hyfrydwch; ond y mae lle i feddwl fod iddi amryw flwyddi i fyw eto, er y dywedir ei bod yn myned yn llai bob blwyddyn. Buan y delo y dydd pan y bydd wedi llwyr ddifianu o'r tir. Yr oedd yma gryn lawer o rialtwch a meddwi. Dywedir eu bod yn gwario rhai cannoedd o bunnoedd ynglŷn â'r ddefod hon bob blwyddyn. Flynyddoedd yn ol byddent yn arfer a glanhâu ac adgyweirio y ffyrdd pan yn *beh-dïng-khlam.* Yr oedd hyny yn rhywbeth tebyg i anfon y *cholera* ymaith, oblegid y mae glendid yn iechyd i bob lle, ac yn un moddion effeithiol i gadw y *cholera* draw; ond y mae y genedlaeth hon yn llawer ffolach yn hyn na'u cyndadau, gan eu bod wedi sefydlu yn lle hyny arddangosiad mawreddog o waith papyr, ffug-geffylau, elephantiaid, teigrod, eirth, cewri y dyddiau gynt, a phob rhyw ffolineb. Er cadw plant yr ysgol rhag ymuno â hwy, aethom â'r plant i'r "mynydd," fel y dywedir yma, i fwynhâu eu hunain, tra yr oedd Mrs. Jones yn prysur barotoi *tea* o de, *biscuits, jam,* ac amryw ffrwythau iddynt yn yr ysgoldŷ. Wedi iddynt gael eu gwala cadwasom gyfarfod â hwy i ganu, &c., yn yr awyr agored; trwy y moddion hyn llwyddasom i'w cadw rhag ymgymysgu â'r eilunaddolwyr hyn. Ond drwg genyf ddyweyd i ddau ddyn ieuanc fyned i'w gweled yn cyflawni y ddefod, yr hyn sydd yn erbyn rheolau yr eglwys, ac am hyny diarddelwyd hwy. Gwyddent y canlyniadau cyn iddynt fyned, er hyny hwy a aethant. Yn ystod y mis buom dan orfod i dori un arall o'r eglwys. Derbyniwyd un wraig briod i'r eglwys. Bu hon yn aelod o'r blaen, ond diarddelwyd hi am ymrafaelio ac arfer geiriau anweddus, yr hyn beth y mae pobl Jiwai yn nodedig am dano.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

Dymunir ar i swyddogion eglwysig annog y plant i ddefnyddio y Tocynau i gasglu at y Genadaeth, neu y Blychau Cenadol. Gellir eu cael ond ymofyn â'r Ysgrifenydd.

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Casgliad Capel Bootle .. .. | 43 | 10 | 0 |
| " " Lombard St., Liverpool | 17 | 0 | 2 |
| Blwch Cenadol dosbarth Miss Mary Roberts, Rhiwcenglau, Llanfair, Gorllewin Meirionydd .. .. | 0 | 16 | 0 |
| Dosbarth o Ferched yn Ysgol Sabbothol Llanelwy, tuag at ail-adeiladu ysgoldŷ Shillong .. .. .. .. | 0 | 5 | 0 |
| "Chwaer o eglwys Gatehouse," tuag at y tŷ haiarn ar gapel Jiwai .. | 0 | 10 | 0 |
| Swm a gasglwyd gan Misses Jones, 7, Water Street, Rhyl, at yr un amcan.. | 3 | 10 | 0 |
| Cymunrodd y diweddar Mr. Thomas Owens, Gerddi Beuno, Treffynnon .. | 50 | 0 | 0 |

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.,* 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 624.] HYDREF, 1882. [LLYFR LII.


## CYNNYDD A DADBLYGIAD YR EGLWYS.


GAN Y PARCH. T. J. WHELDON, B.A.



*(Parhâd o tu dalen 329.)*


GYDA threigliad amser, yr oedd y cynnydd yn peryglu yr undeb, ac yn bosibl iddo rwystro cynnydd ychwanegol, heb uno yr holl eglwysi yn un corff. Nis gellir cyflawni gwaith gyda gweddeidd-dra ond trwy rym trefniadau gosodedig, nid i rwymo cydwybodau ond i sicrhâu undeb a chydweithrediad, yn rhinwedd y llawn ddigonolrwydd a'r awdurdod mewn ymddarostyngiad i awdurdod ac arweiniad y Pen, yn gweithredu yn yr eglwys. Er ei pharhâd a'i nerth, y mae trefniadau ychwanegol yn cael eu gwneuthur, at y rhai yr agoshâ y saint ymhob oes, pan yn sylfaenedig ar egwyddorion cyffredinol teyrnas Crist, fel "os myn neb fod yn ymrysongar, nid oes genym ni gyfryw ddefod, na chan eglwysi Duw."

1. Yr oedd corfforiad ein Cyfundeb yn ychwanegiad i'w nerth, trwy roddi cyfreithlondeb i bob gweithiwr ynddo, trwy roddi tawelwch a sicrwydd ei fod yn ei le, ac, os yn ymdrechu, y coronid ef am ei fod yn ymdrech yn gyfreithlawn. Credai y Tadau Methodistaidd yn eu gwaith, ac eto yr oedd gosod cyfreithlondeb eu gwaith a'u lle yn amlwg, yn ychwanegu eu nerth hwy eu hunain, ac yn rhoddi dylanwad mwy agored a dibetrus iddynt ar eu gwlad. Collwyd ychydig trwy y cyfnewidiad, ond yr oedd yr ennill yn annhraethol fwy. Yn ol hyn, y mae y Cyfundeb "fel gŵr priod yn dyfod allan o'i ystafell, ac yn ymlawenhâu fel cawr i redeg gyrfa."

2. Yr oedd y corfforiad hwn yn rhoddi parhâd yn ysbryd y Diwygiad. Y mae dylanwadau ysbrydol grymus yn darfod os na chânt eu parhâd mewn rhyw drefniadau, y rhai a wnant hefyd ychwanegu eu nerth yr un amser. Un o wersi mwyaf amlwg hanesiaeth ydyw fod ysbrydiaeth, brwdfrydedd, yn gallu gwneuthur gwrhydri am ychydig amser tra yn ei uchder, ond ei fod yn darfod yn fuan. Y mae yn annhraethol fwy effeithiol mewn dysgyblaeth a threfn, ac yn parhâu yn fwy yn ei nerth. Gall gwlad wedi codi trwy rym teimlad wneuthur llawer am amser: eto y mae ychydig filwyr dan ddysgyblaeth ac mewn trefn yn gallu gwneuthur mwy na miloedd heb hyn. Nid ydyw y ddysgyblaeth yn lladd y brwdfrydedd, ond yn ei ddarostwng a'i ddystewi trwy drefn. Rhodder byddin dan ddysgyblaeth berffaith ac yn llawn brwdfrydedd, ac er y bydd yn bosibl ei lladd, nis gellir ei gorchfygu. Y mae yn dawel ac yn ddiysgog trwy ei threfn; y mae yn anorchfygol o herwydd ei hysbryd. Y mae rhai yn pwyso ar ddiwygiadau yn unig, ac yn ngwyneb pob trefn yn gosod allan mai yr unig beth sydd eisieu ydyw ysbryd; ac y mae y teimlad hwn i'w gael yn naturiol mewn rhanau sydd wedi teimlo nerthoedd diwygiadau grymus. Y mae eraill yn pwyso yn unig ar drefn a dysgyblaeth; ac y mae hanes yr eglwys yn ein dysgu fod grym aruthrol yn hyn. Y mae ein Cyfundeb ni yn gorchymyn i ni roddi pwys ar y ddau. Nid anghofiwn "flynyddoedd deheulaw y Goruchaf;" eto y mae y nerthoedd yn disgyn i raddau yn ofer, os nad ellir eu cadw

weithio ymlaen am amser maith i ymagor fwyfwy. Rhaid i ni wrth amseroedd i orphwys *(a ddeuant)* o olwg yr Arglwydd, ond y lle priodol iddynt weithredu ydyw mewn dysgyblaeth a threfn. Nid ydyw ysbryd yn dinystrio trefn; dangos y mae nad ydyw y drefn a'r ddysgyblaeth oedd o'r blaen yn ddigonol i'w gymeryd i mewn. Undeb y ddau hyn rydd nerth; ac y mae ein Cyfundeb yn ffrwyth cyfuniad y ddau i raddau pell. Pe buasai y trefniadau yn fwy perffaith, buasai ei ddylanwad ar Gymru yn fwy heddyw nag y mae. Anghen, ac anghen mawr a arweiniodd iddynt, a chadernid mawr ydoedd y canlyniad.

(3.) Y mae y trefniadau yn cadw achos yr Arglwydd yn fyw mewn adegau o iselder ar grefydd. Yn aml gosodir allan eu grym i ddinystrio crefydd; ac y mae yr eglwys yn wastad mewn perygl o amcanu gwneuthur ei hunan yr hyn nas gall neb ond yr Arglwydd ei gyflawni, a gosod dyn yn lle Duw. Os yw yn gwneuthur felly ar adegau, y mae yr un mor wir mai hyn sydd yn cynnal crefydd i fyny mewn amseroedd isel. Ymhob oes o'r byd, yn yr eglwys, ac ynddi pa mor lygredig bynag y byddo, y mae rhywrai "yn dysgwyl am ddyddanwch yr Israel." Y mae ychydig farwor i'w cael ar yr hen aelwyd, ac yno y mae y tân yn ail ennyn.

Yn hyn y mae yr eglwys yn gwahaniaethu oddiwrth yr hyn sydd ddaearol. Pan y mae yn disgyn iselaf, nid ydyw yn darfod; eithr, megys ei Phen, yn adeg ei gwendid a'i gwarth y mae awr ei hadgyfodiad yn dyfod, ac o honi ei hun y cyfyd ei goleuni. Dyma y colofnau i'w chynnal yn ei nos. Y rhai hyn a'i gwna megys y mynyddoedd, y rhai nad ydynt yn colli y dydd yn llwyr. Pan ymedy cochni yr hwyr âg un ochr i'w cribau, y mae adenydd y wawr yn ysgafn chwareu ar yr ochr arall, ac ni chollant eu goleu oll, byth. Trwy hyn y mae megys y rhan o'r traeth nad yw byth yn sychu. Pan y mae y trai yn ei adael, eto cyn hir dychwela tònau cyntaf y llanw drosto yn ol, ac yna ä ymlaen dros y rhandir sydd wedi sychu i fyny. Nid oddiallan i'r eglwys y mae y gallu i dderbyn gras Duw, eithr oddimewn iddi; yno y mae y ffydd i dderbyn, a'r dysgwyliad yn creu parodrwydd. "Y grug yn y diffeithwch, ni wêl pan ddêl daioni;" eithr lili y dwfr, sydd â'i dail eisoes yn gorwedd ar fynwes y dyfroedd, a wêl pan ddisgyna dafnau o gwmwl y daran wrth fyned heibio ar ddiwrnod o haf; adfywia ei dail, a siriola ei blodeuyn. Dyma a roddes ein Tadau i ni, sef y gallu i ddal yn hir heb ddarfod o'r tir. Buasai y Diwygiad Methodistaidd wedi darfod yn Lloegr oni buasai i Mr. Wesley sefydlu y *Conference*, ynghyd a'i threfniadau dilynol, sefydliad pa rai sydd wedi eu bendithio mewn modd mor arbenig er lledaeniad rhyfeddol y diwygiad yn ei effeithiau dros yr holl fyd. Ymdrechwyd corffori dylanwad Whitefield yn Nghyfundeb yr Arglwyddes Huntingdon, yr hon a feddiannai lawer o allu Mr. Wesley mewn cynllunio; ond collwyd dylanwad Whitefield, yn ei barhâd uniongyrchol ar Brydain a'r ymherodraeth a'r byd, o eisieu y trefniadau y rhai y dywedir yn eu herbyn eu bod yn ddaearol ac yn anianol. Os am fyw a pharhâu, rhaid eu cael, er cyflawni anghenion Sïon, a'i chyfaddasu i'w hoes.

Pan y corfforwyd yr eglwysi, dangoswyd corff yr athrawiaethau ag yr oedd y tadau yn dymuno eu dysgu i'r eglwysi; ac wrth wneuthur hyny, y maent wedi rhoddi i ni holl athrawiaethau yr Eglwys Gyffredinol. Yr ydym yn apostolaidd os mynir, am mai arnynt hwy yr ydym wedi ein sylfaenu. Er hyny nid ydyw y Cyfundeb yn bwrw ymaith brofiad yr eglwys drwy y canrifoedd, nac yn chwilio am ei athrawiaeth iddo ei hunan o Air Duw. Y mae yr athrawiaethau a drosglwyddwyd i ni wedi eu cael oll o'r Gair, ond wedi eu hegluro gan brofiad a dysgeidiaeth yr Eglwys Gyffredinol trwy yr oesau. Gyda phob pwnc, yr ydym i edrych ar yr Ysgrythyr, eto nid ydym i ollwng profiad a barn yr eglwys ar y pwnc yn anghof. Y mae ein herthyglau yn ein sylfaenu ar yr apostolion a'r prophwydi, neu ddysgawdwyr a ddaethant ar eu hol. Ein gwreiddiau sydd â'u maeth yn y gwirionedd Dwyfol, ac yn ymlapio am ddeunaw canrif o ddadguddiad y gwirionedd yn mywyd hanesyddol yr eglwys. Y mae yr erthyglau, rai o honynt, megys llosgfynyddoedd wedi dystewi, ond na wyddir pa bryd y daw y cynhwrf, y ddaeargryn, a'r nerth drachefn, er mai nid yn union yn

yr un ffordd y gweithia. Nid ydynt yn rhwystro i brofiad dyfodol yr eglwys ddwyn i eglurder o Air Duw athrawiaeth yn ol athrawiaeth, ond yn ein cyfoethogi â meddyliau a phrofiad yr amser a aeth heibio. Y mae hanes yr eglwys yn dyfod i mewn ynddynt, ac yn arbenig, ar ol yr apostolion, cewri y Diwygiad Protestanaidd, ac yn rhoddi i ni ein lle fel un o'r canghenau o'r cyff mawr hwn. Nid ydyw ein Calfiniaeth ond yn ein cysylltu â'r duwinyddion mawrion hyn. Nid i egluro un athrawiaeth y cyfodwyd ni, ac nid er mwyn rhyw un ordinhâd neu ffurf yr ydym yn bod. Ni chyfyngir ni gan un agwedd ar y gwir neu un athrawiaeth; ac ni chedwir ni mewn babandod parhâus trwy ein rhwymo mewn cadachau unrhyw seremoni na threfniad allanol. Ein maes yw yr holl wirionedd, a gweddai i ni gofio hyny a pheidio a chyfyngu holl gynghor Duw. Y mae tuedd weithiau i gau ein golwg ar yr eglwys gyffredinol wrth garu rhyw gangen o honi, gan dybied mai y rhan yw yr oll. I ni y mae holl gyfoeth yr eglwys yn ei hathrawiaeth, ac hefyd yn ei haddoliad, wedi ei agor; a dymunem weled ychwaneg o'r cyfoeth a fu yn faeth i dduwiolion yr oesau yn cael ei ddwyn i gyrhaeddiad ein heglwysi ninnau. Felly byddai ein gwneuthur yn gorff ar ei ben ei hun, yn foddion i'n hûno mewn ysbryd, gwirionedd a gwasanaeth, â'r eglwys fawr gyffredinol, a byddem wedi ein dysgu i deyrnas nefoedd yn dwyn allan o'r trysor bethau newydd a hên.

Rhodd arall a gadarnhäwyd i ni yn yr adeg hon ydoedd ein ffurflywodraeth eglwysig. Yr oedd hyn wedi tyfu yn naturiol yn ngwaith ein Tadau, fel nad oedd eisieu ond rhoddi sêl arno. Y mae y ffurfiau goreu o lywodraeth, nid wedi eu gwneuthur, eithr wedi tyfu. Os wedi eu gwneuthur, tebyg ydynt i arch y gau-brophwyd yn crogi rhwng nefoedd a daear, heb berthyn i'r naill na'r llall, llawer llai i'r ddau fel y mae yr hyn a roddir gan Dduw. Ni raid i ni wynebu yn bresennol yr anhawsder o farnu beth oedd y ffurflywodraeth yn yr eglwys gyntefig. Hyn sydd sicr: ei bod yn uno yr awdurdod uchaf a mwyaf grymus, gyda'r rhyddid mwyaf, yr hwn a sicrheid trwy breswyliad yr Ysbryd; canys lle y mae efe yno y mae rhyddid. Cyfuno y ddau hyn ydoedd ysbryd ein tadau, awdurdod a rhyddid, y swyddogion oll yn frodyr, y llysoedd eglwysig yn rymus ac effeithiol yn eu gofal a'u llywodraethiad, rhyddid yr eglwysi yn eu hamcanion eu hunain, a rhyddid yr aelodau heb benrhyddid yn cael ei ddiogelu, ac fel hyn undeb y cyfan yn ddiogelwch i bob aelod.

Pan ag y mae eglwys efengylaidd yn gweithredu yn rhydd yn ol natur ei hegwyddorion, heb ddylanwad oddiallan yn effeithio arni, y mae ei ffurflywodraeth yn meddu egwyddorion Henaduriaethol. Y mae rhai eglwysi â dylanwad gwladwriaethol arnynt yn eu gwyro oddiwrth y ffurf hon, megys Eglwys Loegr. Y mae eglwysi eraill âg ofn yn effeithio ar eu ffurflywodraeth. Y maent yn dilyn adegau o ddirywiad yn yr eglwys, ac y mae arswyd y dirywiad yn rhoddi ei ddelw arnynt. Y mae y rhai hyny sydd yn arloesi gwlad, gan ei dwyn dan ddiwylliant, yn tori i lawr y coed, ac yn glanhâu y wlad o bob tyfiant gwyllt a naturiol. Derbyniant y ffrwyth ar y dechre trwy hinsawdd mwy tyner, a llwyddiant amaethyddol. Ond fel ag y mae yr arloesi yn myned ymlaen, y mae sychder a diffrwythdra yn disgyn arnynt, fel ag i'w gorfodi i blanu lle y buont ychydig yn ol yn tori i lawr. Y mae y rhanau hyny o'r eglwys sydd wedi bod, o herwydd ofn, yn amcanu symud ymaith holl hadau yr hen ddrygioni, yn gwanhâu eu hunain ar gyfer gwaith eglwys, ac yn cael eu gorfodi, os llwyddant, i ennill yn ol yr hyn ag y buont unwaith yn ei ddiwreiddio. Y mae llwyddiant Annibyniaeth yn ystod y blynyddoedd diweddaf wedi dyfod i'n brodyr o'r enwad hwn, nid yn rhinwedd eu Hannibyniaeth, ond trwy gymeryd i mewn egwyddorion Henaduriaethol er cydweithrediad a gweithgarwch. Mwyaf a ddefnyddiant o'r egwyddorion hyny mewn cymanfäoedd a sefydliadau sydd yn dwyn undeb i'r golwg, mwyaf fydd eu llwyddiant rhagllaw. Rhoddodd yr Arglwydd i ni bob manteision i ymëangu ac ymgadarnhâu, gan fod ein ffurflywodraeth wedi tarddu yn naturiol, heb ofn, na chariad at y byd, oddiwrth yr athrawiaethau a bregethid i'n gwlad. Nid mewn gwrthwynebiad i unrhyw eglwys arall, ac nid yn cael ein sugno gan y byd, y daethom y peth ydym, ond yn ngrym dymuniad i achub

ein cenedl, ac i sicrhâu lles yr eglwysi. Lle y gweithreda eglwys yn rhydd, Henaduriaeth a ddaw i'r golwg. Yn yr oes apostolaidd, sicr yw fod y swyddau sydd genym ni ganddynt hwythau; sicr hefyd fod cymanfa o ryw natur yn bod er heddwch a phurdeb athrawiaethol yr eglwysi; sicr yw hefyd fod ei phenderfyniadau yn cyfateb i'r amseroedd, ac nid i ymestyn ymlaen yn wastadol ar wahân i'r amgylchiadau a'u hachosodd; sicr yw hefyd fod ynddi awdurdod oedd yn sicrhâu amcan ei chynnulliad; sicr yw fod rhyw nifer yn arwain ac yn llywodraethu yr eglwys; a sicr hefyd fod pob eglwys yn rhydd i wynebu ei hanghenion a'i gwaith ei hunan. Y mae gwahaniaeth yr amseroedd yn rhwym o ddwyn gwahaniaeth yn y dull ag y mae yr egwyddorion yn ei gymeryd; ond addefir fod yr egwyddorion hyn yn bod yn yr eglwys gyntefig. Yn y Canol-oesoedd, yn nghanol cymoedd yr Alpau, y fangre fwyaf neillduedig yn Ewrop, y mae ychydig heb blygu eu gliniau i'r Babaeth, ond yn dal purdeb eu hathrawiaeth. Yno hefyd y gwelwn, gyda'r athrawiaeth bur, ffurflywodraeth eglwysig Henaduriaethol. Er i Dduc Savoy eu dinystrio, efe a gododd yn rhy ddiwedd lar, gan fod eraill wedi cynneu eu ffaglau yn y tân a losgai ar eu hallorau hwynt, ac yn goddeithio y gwastad-diroedd âg ef.

Yn nhywyllwch y Babaeth ei hunan, os gwelwn ryw feddwl meistrolgar yn coleddu athrawiaeth bur, ac yn ymdrechu dwyn eraill i'w hadnabod, yn yr un lle cawn fod egwyddorion Henaduriaethol yn cael eu gosod allan fel yr hyn a fu, ac y gweddai i'r eglwys fod. Yn y sefydliadau a gododd yn y Canol-oesoedd oddimewn i'r Babaeth, ac sydd yn gwneuthur ei hanes mor ddyddorol, ac eto heb fod yn rhan arbenig o honi, cymerant oll ffurf Henaduriaethol, ac ynddynt hwy yr ymddengys yr ychydig fywyd ysbrydol ag oedd ynddi megys naid fflam yn gwrthod diffoddi. Yn y Diwygiad Protestanaidd, pan y rhyddhäwyd y gwirionedd i lywodraethu calonau plant dynion, y ffurf ag y mae yr eglwysi yn dilëithriad, os yn gweithredu yn rhydd, yn ei gymeryd ydyw, yr Henaduriaethol. Dyma ffrwyth naturiol y gwirioneddau oedd yn ysgwyd y gwledydd. Gallwn fod yn eiddigus o gadwraeth ein ffurf fel Cyfundeb, gan ei bod yn anwahanol gysylltiedig âg athrawiaethau cewri duwinyddol yr oesau. Y perlau hyn sydd wedi harddu yr eglwys, weithiau yn ei gogoniant, weithiau yn ei thlodi, a than erlidigaeth. Cyflëir hwy yn wahanol mewn perthynas i'w gilydd, eto yr un ydynt, ac ymddysgleiriant ar fynwes ein Cyfundeb bychan ni. Na ddeled llaw lleidr i'n difwyno o honynt.

Gwers arall ag y mae hanesiaeth yn ein dysgu ynddi ydyw, fod y ffurflywodraeth eglwysig yn dylanwadu yn ol ar yr athrawiaeth. Pa le bynag ymhlith Henaduriaethwyr y mae yr athrawiaeth yn colli, y mae y ffurflywodraeth yn colli yn gyntaf. Yn aml y mae yr ymosodiad ar ffurf yr eglwys yn gyntaf, ac yna yn ymddangos yn wanhâd yn yr athrawiaeth. Pan y collir un, collir y llall, medd hanes yr eglwysi Henaduriaethol. Y mae y dylanwad hwn er drwg yn gyffredin yn dyfod oddiwrth lwyddiant egwyddorion Annibynol yn yr eglwysi a'r cynghorau. Dywedasom eisioes fod elfenau Henaduriaethol yn nerth i Annibyniaeth, ac yn sicrhâu ei llwyddiant. Nid ydym yn gallu rhoddi ein llaw ar un engraifft ag na fu dygiad elfenau Annibynol i mewn i eglwys Henaduriaethol yn wanhâd iddi. Nis gwyddom am reswm ond yr un a roddwn, sef fod Henaduriaeth yn colli gwirionedd llwyddiant wrth dueddu at Annibyniaeth, ac felly yn disgyn i dir îs, ac ar lithrigfa, tra y mae Annibyniaeth yn esgyn i dir cryfach wrth gymeryd egwyddorion Henaduriaethol, ac felly yn ennill nerth. Y mae pob cais am ranu yr ymrafael ac uno, ar y Cyfandir ac yn Mhrydain, wedi troi yn adfydus i'r eglwysi Henaduriaethol ac i grefydd ymhob gwlad. Pan y collodd Ffrainc ei ffurflywodraeth, ac y gwasgarwyd ei chymanfaoedd, collodd burdeb ei hathrawiaeth. Yr Iseldiroedd, pan aethant yn ddifraw am gynghorau yr eglwys, a aethant yn nythle i bob barnau gwyrgam. Yn America, pan wanhäwyd y cynghorau, daeth anmhuredd dros yr eglwysi: y llanerchau hyny lle y cadwyd hwynt yn effeithiol ydynt heddyw y llanerchau glanaf oddiwrth Undodiaeth. Geneva ei hunan a gollodd yr athrawiaeth pan y collwyd y ffurflywodraeth. Ond yr esiampl fwyaf i ni, am fod a fyno â Phrydain ac â Chymru, ein gwlad ein hunain, ydyw

hanes Henaduriaethwyr Puritanaidd ein gwlad. Eu cwymp a fu mawr, ac y maent wedi eu gosod yn esiampl i ninnau. Nid ydyw fe allai yn wybyddus i'n holl aelodau, nad yw yr eglwysi Undodaidd sydd mewn rhanau o Gymru ond gweddillion y gallu mawr Henaduriaethol Puritanaidd yn yr ail ganrif ar bymtheg. Y mae y cewri oedd yn amaethu ei hadlodau y pryd hwnw, â'u gweithiau yn cynnorthwyo gweinidogion y Methodistiaid mewn modd arbenig, ac i'w gweled yn eu holl lyfrgelloedd pa lyfrau bynag fyddo ar ol. Ond pa le y mae eu heglwysi? pa le? Dechreuasant eu cwymp trwy ollwng i lawr eu ffurf lywodraeth; gorfodwyd hwynt am yspaid i wneuthur hyny trwy erlidigaeth, eto ni fuasai yr erlidigaeth yn llwyddo oni buasai fod tueddfryd at Annibyniaeth wedi ymweithio i mewn, a'r lliaws wedi myned yn Annibynwyr mewn egwyddor. Rhedodd llygriad drwy eu daliadau, ac yr oedd hyny yn cau allan y posiblrwydd o undeb Henaduriaethol. Y mae coleddu gau athrawiaeth yn ei wneuthur yn anmhosibl. Ni byddai ond ymrafaelion yn cenedlu gwasgariad mwy pan y mae pob aelod yn mynu myned yn ol ei ewyllys ei hun. Nis gallent gan hyny ennill eu llysoedd yn ol. Yn y Diwygiad Methodistaidd, daeth bywyd o feirw i'r eglwysi eraill, ond nid iddynt hwy. Y maent yn eu gweithgarwch gwladol a chymdeithasol eto yn cadw eu cymeriad. Yn y flwyddyn hon, tra y mae areithiau eu harweinwyr yn ein digaloni yn ein dysgwyliad iddynt ddyfod yn ol, eto yn y digalondid gallai fod gwawr yn y ffaith eu bod am y tro cyntaf wedi ymgyfarfod â'u gilydd i ymdrin â sefyllfa eu cynnulliadau, pryd y dywedwyd rhai pethau oeddynt ynddynt eu hunain yn ddymunol gan yr aelod anrhydeddus dros Sir Gaernarfon, ynghyd ag eraill.

Nis gallwn wella ein hunain, nac ychwanegu ein nerth, trwy fod yn ddifraw am ein llysoedd eglwysig, ac onidê rhaid i ffaith newydd gymeryd lle mewn hanesiaeth eglwysig. Y mae ein ffurf eglwysig ymhob lle a gwlad yn magu ymdrech gydag addysgu y bobl, yn coleddu ymhob oes yr ymlyniad llwyraf at wyddid, ond heb fod mor drystfawr âg eraill a allant sôn mwy am ryddid gyda llai o hono; ac ar yr un pryd yn dangos teyrngarwch a ffyddlondeb i'r wladwriaeth; ac yn tueddu i syniadau ëang am deyrnas Crist, ac i gydweithrediad egnïol er ei lledaeniad dros yr holl fyd,—nodweddion ag sydd wedi ymddangos yn ngwaith ein tadau yn Nghymru; a hyderwn y parhânt, gan beri i sain cân a moliant ddyrchafu o'n dyffrynoedd a'n cymoedd, gyda sŵn gweddi uwchlaw ei bryniau, oddiwrth filoedd ei phobl.

Y mae ysbryd yr oes yr ydym yn byw ynddi yn gosod arnom y ddyledswydd o ofalu am gadw yr athrawiaeth yn bur, gan fod tuedd llenyddiaeth ein hoes, a'r lledaeniad cyffredinol trwy ëangiad dysgeidiaeth gyffredin yn ein dyddiau, sydd yn dwyn dylanwadau oddiallan i ni i weithio yn gryf ar ein haelodau, yn sicr o gael ei deimlo fwyfwy. Y mae dylanwad y byd ar yr eglwys, pan yn anuniongyrchol yn troi er daioni iddi, ond os yn uniongyrchol er drwg. Wrth ymdrechu yn ei erbyn yn ddidwyll ac o ddifrif, y mae yr eglwys ar ei hennill o'r ymdrech. Y mae Pen yr eglwys yn gweithredu yn y byd, ac yn ei ddefnyddio i gyfoethogi ei eglwys. Yspeilia yr Aiphtiaid ymhob oes. Os gadawa i'r byd redeg drosti, gorchfygir hi; eithr os brwydra yn erbyn y byd, y mae y frwydr yn ei dysgu i adnabod a deall ei chyfoeth ei hunan, ac yn foddion i'w heangu yn ei theimlad a'i barn. Yn yr ymladdfa, sugna yn ddiarwybod iddi ei hun y daioni sydd yn llenyddiaeth a gwybodaeth y byd; a phan y bydd ei gwrthwynebwyr ymron gorfoleddu arni, cyfyd hi yn orchfygwr, wedi meddiannu y "soul of goodness in things evil." Yr oedd ymwneyd Israel â'r Cenedloedd, a'i chaethgludiad i'w mysg, yn wastad yn cyfoethogi eglwys yr hen destament, trwy roddi goleuni newydd iddi ar yr etifeddiaeth oedd eisoes ganddi, a thrwy sugno iddi ei hun y daioni oedd yn eu plith hwythau. Nid yw Crist yn gweddïo ar i'r Tad gymeryd ei bobl allan o'r byd, am fod y byd mor anghenrheidiol i gynnydd gras a gwybodaeth yr eglwys ag ydyw yr eglwys i'r byd. Eu cadw rhag y drwg ynddo oedd amcan ei weddi, a thrwy wrthwynebu y drwg, er ymddangos weithiau mewn perygl, meddianna y da.

Yr un wedd y mae y sylw a delir i wladlywiaeth gan bawb, a'r darlleniad ëang ar newyddiadu on dyddiol ac

wrthnosol, Cymreig a Seisonig, yn peryglu i ddylanwad politicaidd ddylanwadu yn uniongyrchol ar ein ffurflywodraeth eglwysig. Gall wneuthur hyny trwy osod allan fod teyrnas Crist yn gyffelyb i, neu i gael ei rheoli megys, llywodraeth ddaearol. Nid yw hi o'r byd hwn, ac nid ydyw ffurf unrhyw wladwriaeth i fod arni. Yr oedd pob ffurf o wladlywiaeth wedi eu profi cyn dyfodiad Crist, a'r oll yn dda mewn amgylchiadau ffafriol, ond yr oll o'r ddaear yn ddaearol, ac yn rhwym o ddarfod gyda threigliad amser. Os amcenir ei gwneuthur megys unrhyw lywodraeth arall, darostyngir hithau sydd yn dragywyddol, ac yn ei sail yn uwch nag amser a damwain, i ddyfod dan ddeddfau amser, a bydd ei darfodedigaeth yn sicr. Y mae yma eto ddylanwad; ond os yn iachus, rhaid iddo weithredu yn anuniongyrchol. Y Brenin, ei Hymherawdwr, ydyw Crist; ei Ysbryd ef sydd yn arwain, a chariad ydyw deddf fawr yr aelodau oll. Mae yma wir ryddid, ond rhyddid yr Ysbryd mewn cariad—gwahaniaeth o osodiad y Pen rhwng dyn a dyn, a'r penaf i fod yn was i bawb—y swyddogion, megys y cyweirnod mewn cerddoriaeth, yn allwedd i fawl a gwasanaeth y gynnulleidfa. Yma y mae pob uchder yn sail gwasanaeth, a'r gwan yn teimlo ei hunan yn gryf ac yn anrhydeddus yn nghryfder ac anrhydedd yr holl gorff. Yma y mae neillduolion pob un yn cael eu dwyn trwy yr Ysbryd i'r perffeithrwydd mwyaf, ac a fuasai heb undeb yn ddiamcan megys careg gaboledig heb fod yn ffurfio rhan o un cyfanwaith. Dyma y lle y mae y bywyd mwyaf perffaith yn bywiocâu yr amrywiaeth mwyaf o aelodau—y gwir brawf ac arwydd o'r llywodraeth buraf mewn unrhyw gylch.

Nid ydyw yr eglwys o'i thu hithau i weithredu yn wastad yn uniongyrchol ar wladlywiaeth. Y mae ei dylanwad anuniongyrchol o'r fendith fwyaf i lywodraethau y byd, ond ei dylanwad uniongyrchol yn cynnwys ynddo berygl. Os yw â'i llygaid a'i llaw yn aml ar lywodraethiad gwladol, y mae yn tueddu i'w gwneuthur yn wladol ei hun. Nid rhaid i eglwys fod mewn cysylltiad â'r wladwriaeth i fod yn wladwriaethol; gall fod yn llawer mwy heb fod felly, ac mewn gwrthwynebiad weithiau i'r gallu llywodraethol. Pan y mae eu hawlfraint fel dinasyddion gan ei haelodau, aed hi ymlaen gyda'i gwaith, a gadawed y byd i ofalu am dano ei hun. Efe a wna. Arglwydd yr eglwys ydyw Llywodraethwr y byd. Yr oedd greddf wleidyddol gwŷr galluog llywodraeth Rhufain yn eu dysgu fod crefydd Crist, oedd mor addfwyn a dyoddefgar, yn rhwym o weithredu cyfnewidiadau yn arferion cymdeithasol a llywodraethol yr ymherodraeth; gan hyny, mewn hunan-amddiffyniad gwrthwynebent hi, ond yn ofer; elai yn dawel dan sylfeini yr ymherodraeth. Nid dylanwad uniongyrchol a wnaeth hyn, ond un anuniongyrchol. Y mae pob grym mawr ysbrydol yn araf weithio yn gymdeithasol ac yn wladwriaethol. Y mae Cymru yn mwynhâu heddyw ffrwyth anuniongyrchol y Diwygiad Methodistaidd. Achub y byd oedd amcan ein tadau; ac wele, yr holl bethau hyn mewn amser a roddwyd i ni yn ychwaneg. Y mae llawer yn ymffrostio yn y bywyd a welir yn awr mewn gwahanol gyfeiriadau; ond efe a wnaeth hyn yn ddystaw ond yn effeithiol. Y mae pob bywyd yn tyfu yn anymwybodol iddo ei hun, eto yn sicr. Gyda hyn, y mae hanes yr eglwys yn tystio i ni, pan yn gosod rhwymedigaeth ar bob aelod i weithredu yn uniawn fel dinesydd, eto fod cysylltu eglwys fel corff gydag unrhyw blaid wladwriaethol yn hunanddinystriad; a dylai yr ystyriaeth hon ein dysgu er mwyn yr eglwys i gydoddef â'n gilydd fel personau unigol pan yn gwahaniaethu ar bynciau gwladwriaethol a chymdeithasol.

Yn nechreuad ein Cyfundeb, yr oedd arolygiaeth fanwl ar yr eglwysi. Yr oedd angenrheidrwydd yn yr amgylchiadau, heb unrhyw reswm uwch, i'r gweinidogion fod â hawl weinidogaethol ar yr holl eglwysi. Teimlent eu hunain, a theimlai yr eglwysi, eu bod nid yn unig yn bregethwyr y gair, ond yn weinidogion iddynt. Naturiol oedd fod ganddynt ofal arbenig am y llanerch yr oedd eu preswylfod ynddi, gan nas gallasai o herwydd eu hawyddfryd hwy i'w gwaith fod yn amgen, a hwnw yn cael ei nerthu gan y teimlad o agosrwydd cymydogion oedd yn y golwg yn aml, ac felly â'u hawl yn fwy i galon yr edrychydd. Arweiniai hyn y Cyfundeb yn naturiol, yn ol ei anghenion, i ordeinio ei weinidogion i'r holl

Gyfundeb, yn gymaint a'r farn am natur y swyddogaeth hon yn yr eglwys. Eithr fel y cynnyddai yr eglwysi, ac y llenwid y wlad â'r achosion crefyddol, trwy yr undeb hwn o efengylwyr ac esgobion, ac fel yr amlhâi y llafurwyr ymhob parth, yr oedd y gweinidog yn syrthio i lawr yn unig yn bregethwr oddicartref, ac yr oedd temtasiynau gydag amser yn codi iddo fod lawer oddicartref. Y canlyniad o hyn i'r weinidogaeth ydoedd lleihâu ei theimlad o gyfrifoldeb. Y mae cyfrifoldeb mawr yn angenrheidiol i rinweddau dyn ddadblygu. Y mae Rhagluniaeth Duw yn dysgu y wers i'r byd trwy ychwanegu argyhoeddiad o gyfrifoldeb ymhob un fel y tyfa i oedran. Y fath fendith ydyw galwedigaethau a chysylltiadau teuluaidd i roddi cadernid cymeriad trwy osod cyfrifoldeb! Y mae teimlo cyfrifoldeb swydd wedi dwyn galluoedd i'r golwg mewn gwladwriaeth lawer tro, er na wyddai neb eu bod yn gorwedd o'r blaen yn y dyn. Yr oedd diffyg cyfrifoldeb yn rhwym o effeithio ar y pregethu ei hunan. Cyffyrddid yn ysgafn â phob lle, ac elid ymaith. Tueddai hyn i rai edrych ar yr eglwysi er eu mwyn hwy, ac nid hwy er mwyn yr eglwysi. Yr oedd yn fagwraeth i ddiogi meddyliol a chorfforol, yn darostwng ymweliad y gweinidog, yr henuriad, neu yr esgob, i foesgarwch cymdeithasol, yr hyn yn y rhai mwyaf eithafol a gynnyrchai wrachïaidd chwedlau, eiddigedd, ac enllib; a threddai y gyfundrefn i gynnyrchu drygau y mynachod pregethwrol. Yr oedd yn angenrheidiol caethiwo peth ar y gormod rhyddid hwn er mwyn gwaredu y weinidogaeth ei hunan, a gosod cyfrifoldeb mwy er mwyn mwy o ymroddiad. Arweiniodd y Pen ei eglwys i ddwyn oddiamgylch gysylltiad agosach rhwng y gweinidogion â'r eglwysi, a gwaredwyd hi o eiddilwch a gwendid.

Ynglŷn â hyn, er nad yr un peth, megys ag yn yr eglwysi boreuol, nid oedd gallu gan yr eglwysi gweiniaid a thlodion ar y dechre i ryddhâu eu gweinidogion yn llwyr oddiwrth negeseuau y bywyd hwn. Eto yr oedd y gorchymyn a roddwyd gan Grist i'w eglwys, ac hefyd i'r gweinidogion, yn dal yn ei rym. Yn nghalon y rhai a ufuddhânt iddo, yr oedd y dymuniad i'r rhai oedd yn gwasanaethu yn ymroddedig gael byw wrth yr efengyl. Pa beth bynag a wnai yr eglwysi, yr oedd dwfn argyhoeddiad, a dymuniad cryf yn nghalonau y rhai yr oedd yr Arglwydd wedi eu galw i'w waith, i gael peidio ag ymrwystro gyda'r byd bob un, "fel y rhyngo fodd i'r Hwn a'i dewisodd yn filwr." Nid o ddymuniad yr oeddynt gyda'r byd, eithr o anghenrheidrwydd amgylchiadau. Eithriadau anaml ydyw rhai wedi eu donio, ac yn ymroddi i waith y weinidogaeth, yn credu mewn barn y dylent roddi eu hamser i'r byd. Y mae yn ymylu ar yr anmhosibl i un llwyr ymroddedig beidio dymuno bod yn gwbl rydd i'w waith. Syn fuasai gan y tadau pe gwybuasent y gosodid hwy gan neb yn esiampl yn yr hyn y cedwid hwynt mewn caethiwed, a'r hyn a lesteiriai eu gwaith. Nid ydyw hyn yn cyffwrdd â'r ddyledswydd sydd ar rai ynglŷn â gorchwylion y bywyd hwn, ac yn gwasanaethu eu Harglwydd felly, i wneuthur eu goreu yn ei wasanaeth. Nid ydyw catrodau ei Mawrhydi yn gwneuthur y Gwirfoddlu (*Volunteers*) yn ddianghenrhaid. Y mae milwyr profedig yn addef eu gwerth er amddiffyniad ein gwlad. Eto nid ydyw yr effeithiolrwydd mwyaf ynddynt yn gwneuthur y milwr cyffredin yn ddiangheurhaid. Yn hyn nid ydyw y Cyfundeb ond dilyn yn ôl esiampl ei sylfaenwyr; ac y mae y ffrwyth eisoes, o drugaredd, yn ymddangos. Bellach y mae corff ein gweinidogion mewn amgylchiadau i lwyr ymroddi i'w gwaith. Dywed Isaac Taylor ar hyn, gŵr ag a wyddai yn dda am sefyllfa yr areithfa ymysg yr Ymneillduwyr, yn enwedig yr Annibynwyr, 'fod dau beth yn eisieu er budd unrhyw gymdeithas yn y rhai sydd yn ei gwasanaethu: teilyngdod personol, a'r manteision mwyaf er cyflawniad eu gwaith. Mewn oesau o'r blaen, ni roddid pwys ar y cyntaf; yn ein hoes ni, anghofir pwysigrwydd yr ail. Gellir cyfeirio at rai o alluoedd mawr ag sydd wedi eu rhoddi i'r eglwys, a dywedyd, "Yr ydych yn gweled bai ar ein cyfundraeth, ond edrychwch ar y fath ddynion â'r rhai hyn. Yr hyn sydd arnom eisieu ydyw, nid cyfnewidiad yn ein trefniadau, ond ychwaneg o'r fath ddynion, a byddai pobpeth yn iawn." Y mae yr ymresymiad yn dwyllodrus. Pwy all ddywedyd ymdrech y dynion hyn i gyrhaedd eu safle? Pwy a ddywed

pa lafur a roddwyd i orchfygu anhawsderau na ddylasent fod? Ac hefyd nid ydyw dynion o allu mawr yn ddangosiad o waith cyfundrefn i greu defn yddioldeb. Y prawf ydyw yr effaith ar feddyliau cyffredin. Y mae dynion wedi eu rhoddi i ninnau oeddynt yn ddeddf iddynt eu hunain, ac yn rhwym o fod yn fawr ymhob amgylchiadau Pa faint mwy a fuasai eu ffrwyth pe heb eu rhwystro?'

Y mae hyn bellach ar fyned heibio. Pe mynem, nis gallai holl rym Cymanfäoedd, na deddf gwlad, heb eilidigaeth, ei dwyn yn ol. Y mae dymuniadau yn gweithredu yn ddirgelaidd mewn oes yn gryfach nag ewyllys yr oes. Nis gellir dodi blodau y gwanwyn ar ffrwythbren yr haf, ac ni roddir arno yn y gauaf orchudd o ddail. Nid ydyw y byd yn ail-adrodd ei hunan; ni sang yn yr un ôl yn union. Nis gall person unigol fyned yn ol, a llawer llai cyfundeb neu genedl. Nid ydyw yn sicr y bydd y gŵr ieuanc yn ddoethach na'r bachgen; ond gan nad pa un doethach ai ffolach, y mae y pethau bachgenaidd wedi eu rhoddi heibio. Amcanodd Julian roddi bywyd yn nghorff marw hen grefyddau yr ymherodraeth, a throi yr olwynion yn ol; ond ymlaen yr aeth. Felly am hyn yn ein plith; y mae Pen yr eglwys wedi gorchymyn i ni eu bwrw ymaith, megys gwisgoedd yr amser a aeth heibio. Y mae yr Hwn sydd yn cyfnewid yr oesoedd wedi rhoddi ei fys arnynt. Efe a lefarodd y gair, ac heibio y mae yn rhaid iddynt fyned, canys efe a'i dywedodd. Un prawf o ddilysrwydd ein barn ar unrhyw bwnc crefyddol ydyw, A allwn ni ei wneuthur yn destun gweddi? Y mae dyfod âg ef o flaen llygaid Duw yn dangos gwendid lle y mae. Gallwn ni weddïo ar Dduw ar iddo beri i wïalen y weinidogaeth flaguro ger bron arch yr Arglwydd, ac na byddo eglwys yn ein gwlad heb ragdrefnu hyd y gallo ar gyfer ei maeth ysbrydol. Hawdd ydyw i ni, dan anhawsderau y presennol, ddymuno ein hunain yn ol, gan anghofio y drygau oedd y pryd hwnw. Ond pe symudid ni yn ol, buan y darfyddai y swyn, ac yr ocheneidiem am ein sefyllfa bresennol gyda'i hanhawsderau. Yr Israeliaid, pan yn yr anialwch, a ddymunent fod yn ol yn yr Aipht. Anghofient eu gorthrwm a'u caethiwed, a chofient y pysgod, y cucumerau, y cenin, y winwyn, a'r garlleg. Yr oedd grawnsypiau a phomgranadau gwlad yr addewid o'u blaen yn aneffeithiol i'w denu pan ag yr oeddynt dan ddylanwad ofnau a dychymygion. Gydag ychydig amser mewn profiad o sefyllfa ein heglwysi a'n hareithfa yn gyffredinol amser yn ol, buan yr edrychid ymlaen i'r dyfodol, a thorid y swyn. Hefyd y mae rhyddid yr eglwys i ddewis ei gwasanaethwyr yn un o'r egwyddorion mwyaf pwysig i'w chadw, heb i'r rhyddid hwn gael ei aberthu na thrwy osodiad llywodraeth, na thrwy ewyllys y gweinidog ei hun. Pan y cydweithia bugeiliaeth gydag effeithiolrwydd y weinidogaeth ei hunan, nis gall calon pawb sydd yn caru achos Crist lai na dymuno i'r llwyddiant mawr sydd yn y rhan hon fod yn fwy drachefn yn y dyfodol.

Os edrychwn i'r dyfodol, y mae tywyllwch yn ein cyfarfod i raddau, ac ofnau yn ein dal; ond y mae yr eglwys wedi myned trwy rai mwy,—*graviora passi*,—trwy "ddyfnach dwfr a phoethach tân." I'n calonogi, y mae ein crefydd yn sicrhâu y dyfodol. Y mae y gorphenol wedi ei selio, y mae y presennol gydag anmherffeithrwydd o'i amgylch, ethr am y dyfodol y mae hwnw er pob aflwyddiant yn sicr. Sŵn buddugoliaeth a gorfoledd a glywir o bell. Y mae mwy ymlaen nag sydd yn ol; ond rhaid i'r milwyr fod yn ymroddedig, yn hoffi y gwasanaeth, yn ufudd i'r Llywydd, yn falch o'u clwyfau, yn anghofio eu hunain yn ei wasanaeth, yn sawru maes y frwydr, ac yn barod i farw i'r achos gael byw; rhaid iddynt gydag un llaw adeiladu y muriau, a sicrhâu eu dinas, a chyda'r cleddyf yn y llall gyfarfod â'r gwrthwynebwyr. "Ni byddwn feirw ond byw."

Gan gofleidio yr etifeddiaeth a draddodwyd i ni, adeiladwn ar y sylfeini, gan gadw ein hundeb â'n Tadau heb ei wanhâu, a myned ymlaen i gyflawni gwaith ein hoes ein hunain fel y byddo yn wir,—

"The child is father of the man
And I could wish its days to be
Joined each to each by natural piety."

Sonia un o'r beirdd Groegaidd am lestr, yr hon pa le bynag yr äi, y codai yr awel o'i chwmpas. Yn nghanol dystawrwydd yr hin, byddai ei hwyliau yn llawn, a'r awel yn oeri gruddiau

y gwŷr oedd arni. I ba le bynag yr elo ein Cyfundeb, coded yr awel oddiamgylch iddo. Os yn ein gwlad ni, yr anadl fyddo gydag ef; os yn India, coded y gwynt; os yn America, anadled yr Ysbryd;—i ba le bynag, coded yr awel yn ei yrfa.

Pa le y bydd ein cangen eglwys yn ei lenwi yn y cyfanwaith mawr, nid i ni y mae ymholi. Nid i'n llygaid ni y rhoddwyd gweled mesurau mawrion y deml ag y mae yr Archadeiladydd wedi ei chynllunio, ac yn ei hadeiladu i'w ogoniant; nid i'n clustiau ni y rhoddwyd clywed y cydgord uchelseiniol a gyfyd byth i'n Duw oddiwrth y dyrfa nas gall neb ei rhifo;—ond i ni y rhoddwyd na dderbyniom ras Duw yn ofer. Os cymerir ni i mewn i ryw undeb mwy ëang ag a weithreda Crist yn ei eglwys, hyderwn y byddwn ynddo yn gangen heb wywo, a pha beth bynag a wnelom y byddwn yn llwyddo. Ai i ni, ai wrth ryw eglwys yn y dyfodol pell, y dywedir, "Os mynaf iddi aros hyd oni ddelwyf," nis gwyddom. Wrthym ni y dywedir, "Beth yw hyny i ti? canlyn di fyfi."

---

## DYLANWAD YR YSBRYD GLAN YNGLYN A'R WEINIDOGAETH.

*Papyr a ddarllenwyd mewn Cyfarfod o Efrydwyr Coleg y Bala.*

Gan S. T. Jones, *Llanfairfechan.*

Cwestiwn ag sydd wedi cael sylw arbenig dysgawdwyr yr eglwys Gristionogol drwy y canrifoedd diweddaf yw, Pa un ai yn gyfryngol ai yn ddigyfrwng y dylanwadir gan yr Ysbryd Glân ar galonau dynion, er cynnyrchu argyhoeddiad a meithrin ynddynt fywyd ysbrydol? Gormod, yn ddiau, fyddai sicrhâu *nas gall* Efe weithredu ond trwy gyfryngau; oblegid "gyda Duw pob peth sydd bosibl." Profir hyn yn hanes bywyd ein Harglwydd pan ar y ddaear. Cawn Ef unwaith yn arfer clai er rhoddi golwg i'r dall hwnw, ac yn erchi iddo fyned i lŷn Siloam ac ymolchi; ond iachaodd y wraig hono heb arfer cymaint â gair o'i enau. Felly, fel rheol, y mae yr Ysbryd Glân yn dylanwadu ar y meddwl dynol trwy gyfryngau, er fod genym rai engreifftiau o'i effeithiau achubol *digyfrwng*, megys yn hanes y lleidr ar y groes. Ond gellir ystyried y weithred hono fel eithriad anghyffredin, ac ymhlith un o wyrthiau rhyfeddaf gras.

Ymhlith ei gyfryngau mwyaf neillduol y cawn *ei air ysgrifenedig*. Dyma feddwl Duw—meddwl y Mwyaf mewn bôd ar y pethau pwysicaf eu gwerth. Ar ddalenau y rhôl Ddwyfol hon y cawn syniadau tragywyddol ac anfeidrol o fewn terfynau amser a lle. Ac fel mai i'r graddau y mae dynion yn gallu cyflwyno eu meddyliau y naill i'r llall y mae budd eu cymdeithas yn dyfod i'r golwg, felly i'r graddau y byddo dyn yn cymdeithasu â meddwl Duw yn ei air yr adnewyddir y ddelw Ddwyfol ar ei ysbryd. Eto nid yw gwybodaeth syml o'r gwirioneddau sydd ynddo yn cynnyrchu ffydd fel canlyniad anghenrheidiol; oblegid lle y ceir y wybodaeth helaethaf o honynt yn fynych y gwelir yr amddifadrwydd mwyaf o ffydd. Dylid cofio fod anghrediniaeth yn ddrwg moesol, ac nid deallol—yn tarddu o'r galon, ac nid o'r deall. Rhaid felly wrth allu a dylanwad rhyw weithredydd moesol er ei ddiwreiddio. Nid yw cydnabyddiaeth y deall o wirionedd yn un prawf o'i ddylanwad iachusol ar y galon. Nid oes ond Un a fedr ddwyn y galon a'r deall i berffaith gydgordiad yn nerbyniad gwirionedd, a hwnw yw yr Ysbryd Glân. Er fod y gair, fel offeryn, yn meddu addasder neillduol at hyn, y mae ei allu argyhoeddiadol ac achubol yn gwbl yn llaw yr Ysbryd Glân.

Mae dau gyfeiliornad pwysig i'w gochel gyda golwg ar hyn: y cyntaf, fod presenoldeb a dylanwad yr Ysbryd yn y gair, fel nas gellir ei dderbyn heb deimlo y nerth Dwyfol ac achubol. Yr ail yw, na pherthyn i'r Ysgrythyr unrhyw ragoriaeth ar gynnyrchion dynion yn gyffredin. Dywed pleidwyr y golygiad cyntaf nad yw yr Ysbryd neu y Dyddanydd yn ddim amgen na'r *ystyr* sydd yn y gwirionedd. Dylanwad yr ystyr noeth hwn, felly, yw yr holl nerth a deimlir yn argyhoeddiad dynion! Gwelir ar unwaith fod y syniad hwn yn ymylu ar diriogaeth beryglus anffyddiaeth. Rhaid ei fod yn gwrthweithio pob dylanwad daionus o eiddo yr efengyl ar y galon, gan ei fod yn diseilio ffydd a gweddi yn ffurfiad ein cymeriad crefyddol. Addefwn yn rhwydd nerth anorchfygol gwirionedd noeth er cynnyrchu rhyw fath o argyhoeddiad. Mynych y gwelwyd gwirionedd syml yn trechu cydwybodau aml un, pan yr oedd o'r bron bob math o fygythion wedi methu. Dim ond cysgod llaw gwirionedd yn ysgrifenu ar galchiad y pared a barodd welwi a chrynu o Belsassar yn nghanol ei loddest! Dim ond cwestiwn syml fel hwnw, "Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?" o enau y Gwirionedd a drodd Saul yr erlidiwr yn Paul y gweddïwr! Ië, o bob nerth, nerth gwirionedd yw y cryfaf. Hwn yw canolbwynt pob gallu arall. Canolbwynt y greadigaeth yw

yr haul, am mai o'i amgylch y mae y cyfan yn troi. Ond canolbwynt pob peth yw Duw, Creawdwr pob peth. Ond pe gof ynid beth yw canolbwynt bodolaeth yr Anfeidrol ei hun, diau mai gwirionedd yw hwnw. Ac am hyny y mae yn hunan-ddibynol. Ond eto, gwahaner hyd yn nôd wirionedd oddiwrth ei ffynnonell yn Nuw, ac ni weithreda ond yn unig mewn ffordd o ddarbwylliad moesol. Cymaint a wna fydd perswadio dynion i fywyd o sancteiddrwydd. Ond nid yw hyn yn cynnwys dysgeidiaeth yr Ysgrythyr o berthynas i'r dylanwadau Dwyfol. Mae yr Ysbryd Sanctaidd yn dylanwadu ar y meddwl ac nid ar y gair. Cwyd y meddwl i gyflwr y gall dderbyn argraffiadau y gwirionedd. Mae y galon ddynol wrth natur fel y tir crasboeth, wedi caledu i bob argraffiadau; ond disgyna dylanwadau yr Ysbryd arni fel cawodydd y gwanwyn ar y ddaear, gan ei mwydo a'i thymheru i dderbyn "had da" y gwirionedd.

Moddion pwysig arall, os nad y pwysicaf, yn nghadwedigaeth y byd yw *gweinidogaeth yr efengyl.* "Canys o herwydd yn noethineb Duw nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw, fe welodd Duw yn dda, trwy ffolineb pregethu, gadw y rhai sydd yn credu." I wneyd i fyny am annigonolrwydd y ddoethineb Ddwyfol mewn creadigaeth a rhagluniaeth i ddwyn dynion i wybodaeth achubol o Dduw, y mae wedi ordeinio pregethu yr efengyl, yr hyn a gyfrifid gan y byd yn ffolineb.

Ond er uched yw safon y weinidogaeth yn ein plith, ac er lliosoced ein pregethwyr o bob gradd, eto gellir dyweyd, fel wrth y rhai hyny gynt, "Nid trwy lu ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd i, medd yr Arglwydd." Pob parch i resymeg, athroniaeth, a phob math ar lên a dysg, yn gymhleth â'r dalent a'r athrylith uchaf—mae i'r oll eu lle anhebgor yn nghyflawniad y gwaith—eto, oddieithr eu bod yn ddarostyngedig i ddylanwad a gallu uwch, ni fyddant ond "fel efydd yn seinio, neu symbal yn tincian." Mae gelyniaeth y galon ddynol yn drech na phawb ond gallu anfeidrol. Pe buasai pregethiad llwyddiannus o'r efengyl yn bosibl rywbryd ar wahan i'r dylanwadau Dwyfol hyn, diau mai yr apostolion cyntaf a fuasent y rhai tebycaf i'w gyflawni—dynion ag yr oedd eu hanfoniad difrifol, eu cymhellion cywir, eu penderfyniad diwyrni, eu ffydd gref, a'u cariad angerddol at Grist ac at eu cyd-ddynion, yn peri fod eu geiriau yn disgyn fel marwor tân ar gydwybodau dynion. Ond cawn eu bod hwy yn sugno eu hadnoddau o gronfa anfeidrol Iawn Crist, ac yn gweithredu fel rhai cwbl argyhoeddedig fod "eu digonedd o Dduw." Yn unol â hyn y dywedai Paul wrth y Corinthiaid, "A'm hymadrodd a'm pregeth i, ni bu mewn geiriau denu o ddoethineb ddynol, ond yn eglurhâd yr Ysbryd a nerth." Nid ymorchestai efe mewn hyawdledd areithyddol, neu reitheg goeg, ddisylwedd, fel yr eiddynt hwy, ond mewn nerth Dwyfol anorchfygol, wedi ei wisgo â'r symledd mwyaf pur a dyrchafedig; a thrwy hyny argyhoeddid eu gelynion fod "godidogrwydd y gallu o Dduw, ac nid o ddynion," ac fod "arfau eu milwriaeth, nid yn gnawdol, ond yn nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." Y mae i bechod eto ei gestyll yn Nghymru—yn nghyndynrwydd dynion i ymostwng, yn arferion llygredig yr oes, ac hefyd yn nhuedd anffyddol lliaws o ieuenctyd ein gwlad; a mynych y gorfodir ni i deimlo fod ein hergydion gweinion ni yn rhy aneffeithiol i'w cael i lawr; ac arosant yn gedyrn am oesau eto oni ddynoetha yr Arglwydd ei fraich, ac onid enfyn efe ei saethau argyhoeddiadol i wibio drwy awyrgylch foesol a chrefyddol ein gwlad.

Mae dau bwynt mawr a ystyriwn yn rhanau arbenig o waith neu ddylanwad yr Ysbryd ynglŷn â'r weinidogaeth, sef yn 1af, Ei ddylanwad ar y pregethwr ei hun; ac yn 2il, Ar y gwrandäwyr. O berthynas i'r cyntaf, dichon y gellir ystyried y dylanwad hwn yn driphlyg, sef ar ei ysbryd, ei eiriau, a'i fywyd. Dylanwada ar ei ysbryd fel y mae yn ei nawseiddio a'i dyneru—ar ei eiriau, fel y mae yn eu gwneyd yn efengylaidd, mwyn, a chymhelliadol—ar ei fywyd, fel y mae yn ei wneyd yn adlewyrchiad egwan o burdeb a sancteiddrwydd ei natur ei hun. Dadleuir gan rai nas gall fod cymundeb o gwbl rhwng mater ac ysbryd—fod y naill a'r llall mewn ystyr yn gwrthdaro yn erbyn eu gilydd. Modd bynag am hyny, mae yn amlwg fod y cysylltiad neu y berthynas agosaf rhwng ysbryd ac ysbryd. Profir hyn ymysg dynion. I fagu ysbryd milwr mewn dyn ieuanc, nid oes dim mor nerthol â chymdeithasu â hen wron rhyfel, un ag y byddo ei ysbryd yn llawn dewrder i wynebu maes y gwaed. Fel y mae yr haul yn gosod ei ddelw ar rudd y rhosyn yn yr ardd, felly y mae y naill ysbryd yn arddelwi ei duedd ar arall. Yr un modd yr argraffa Ysbryd yr Arglwydd ei ffurf a'i ddelw ar ysbryd ei genad. Mae yn llenwi calon ei wir genad, nid âg ofn gwasaidd, ond â hyder a rhyddid mab. "Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; eithr derbyniasoch Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad." Mae Duw trwy ei Ysbryd yn sicrhâu ei ffyddlonrwydd a'i gymeradwyaeth yn nghalonau ei wir weision; ac nid oes dim a ddyry gymaint o rym yn ein gweinidogaeth â thystiolaeth Duw ei hun yn ein mynwesau.

Cyfetyb ein llwyddiant i'r graddau y trwythir ein hysbrydoedd gan ddylanwadau ei Ysbryd sanctaidd ef.

Ac fel y bydd y ffynnon y bydd y ffrwd. Pan nawseiddir ein calonau trwy ysbrydolrwydd y gwirionedd, yna y bydd ein geiriau a'n buchedd yn sylweddol a phur. Lle y ceir Ysbryd yr Arglwydd wedi gwneyd ei gartref yn y galon, ni theimlir sarugrwydd ar y naill law, na choegddigrifwch ar y llaw arall. Gochelir pob bôst a balchder trwy wneyd gogoniant Crist yn amcan mawr bywyd. Ac nid oes dim yn pregethu cymaint â bywyd dyn. Y galon yn pregethu trwy weithredoedd yw ein bywyd. Ac nid oes dim yn fwy o nychdod i ddylanwad daionus ar y byd nag anghydgordiad rhwng iaith y galon mewn ymarweddiad â iaith proffes mewn honiadau. Ac y mae mewn bywyd sianel lawer ëangach i'r Dwyfol gael ei amlygu trwyddo nag sydd mewn geiriau. Ni ddaeth cymaint o Dduw i'r golwg erioed ag yn mywyd y Duw-ddyn. Mae yn ein bywydau ninnau allu i gynnwys mwy o'r ysbrydol a'r Dwyfol nag mewn dim arall. Bywyd yn llawn o Dduw sydd yn ofnadwy yn ei ddylanwad ar y byd. A gwaith Ysbryd yr Arglwydd ar ei genadon yw nawseiddio y galon nes y byddo yn dyferu drwy y geiriau, ac yn troi yn fywyd o ymgysegriad i'w wasanaeth.

2. Yn ei ddylanwad *ar y gwrandäwyr*, cynnyrcha ynddynt *yn gyntaf, barch i wirionedd ynddo ei hun.* Mae lle i ofni fod safon gwirionedd wedi ei ostwng yn ddiweddar yn ein plith ni fel Cymry. Edrychir ar ddyweyd anwiredd gan y lliaws yn beth cwbl ddiniwed. Methrir gwirionedd dan draed, ac aberthir yn barhâus i dduw celwydd! Ac nis gall gwlad syrthio i gyflwr mwy truenus ac anobeithiol na'r diffyg parch hwn i wirionedd. Beth a wneir? Nid oes ond un feddyginiaeth anffaeledig yn bod, sef cael tywalltiad grymus o'r Ysbryd Glân. "A phan ddêl, efe a argyhoedda y byd o bechod, o gyfiawnder, ac o farn."

Heblaw hyny, *yn ail*, Ei ddylanwad ef trwy y weinidogaeth ddaw â dynion *i barchu a derbyn y gwirionedd "fel y mae yn yr Iesu."* Ynddo Ef y ceir y gwirionedd yn ei ogoniant mwyaf. Nid oes wirionedd mor gryf yn bod â'r un am Berson ein Harglwydd Iesu Grist, ei fywyd, ei Iawn, a'i Eiriolaeth, — dyma hanfod yr efengyl. Ac oblegid hyny y dywed yr Apostol, "Canys ni fernais i mi wybod dim yn eich plith chwi ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Y groes oedd ei fyfyrdod—y groes ei ymffrost—y groes ei gân—y groes ei fywyd—y groes ei bobpeth. Ac y mae yn gysur meddwl mai amcan mawr goruchwyliaeth yr Ysbryd yw dyrchafu Crist a'i groes yn ngolwg y byd. "Efe a'm gogonedda i." Nid oedd yr hyn a wnaed ar ddydd y Pentecost ond megys dyferion o'r môr o ddylanwadau sydd i ymdori eto ar ein byd ni. "A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd." Tywalltwyd yn helaeth ar ein tadau,—dyma oedd eu nerth; nid dysg na chywreinrwydd yn gymaint, ond eu pregethau a'u geiriau yn llawn o'r ysbrydol a'r Dwyfol, nes gwneyd i annuwioldeb yr oes doddi o'u blaen. Ein gweddi ninnau fyddo am feddu a phrofi yr un nerthoedd mawrion yn y dyddiau hyn, modd y gogonedder enw Crist yn ein gwendid ni, y dymchweler teyrnas y tywyllwch, ac y gwneler ein byd eto fel "gardd yr Arglwydd."

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## METHODISTIAETH RHAN UCHAF LLANDDEINIOLEN.

*Gan y diweddar Barch.* ROBERT ELLIS, *Ysgoldy.*

### RHAN I.

*Eglurhâd.*—"Bras-olwg ar ddechreuad a chynnydd yr achos Methodistaidd yn rhan uchaf plwyf Llanddeiniolen, Arfon," ydyw y penawd yn ysgrifiyfr Mr. Ellis; ac y mae yn amlwg mai nodiadau brysiog oddiar y côf ydynt, wedi eu hysgrifenu pan yn teimlo nad oedd ond ychydig iawn o hamdden i'w gael at hyny. Ar ffurf "nodiadau" hefyd y maent ganddo ef wedi eu rhifnodi yn rheolaidd, ac ar eu diwedd ceir y cofnodiad hwn,—"Ysgrifenais y nodiadau hyn ar gais Mr. W. D. Prichard, Dysgwylfa, Ebrill 5ed, 1881."

1. NID oedd y rhan hon o blwyf Llandeiniolen yn y chwarter olaf o'r ganrif ddiweddaf ond teneu ei thrigolion. Nid oedd yn y rhanbarth ond tua deugain neu debyg o dai annedd, lle y mae yn bresennol ddifai fil o annedd-dai. Yr oedd rhyw ddeg ar hugain o honynt yn dyddynod, a thair neu bedair o ffermydd o gryn faint. Mynydd-dir neu *common* oedd y rhan fwyaf o'r ardal. Yr oedd llidiart y mynydd yn Mhen isa'r Waen. Yr oedd yr holl Waen Wina yn dir *common*, gan gynwys y Rhiwen a'r Foel sydd ar ei henw. Yr oedd gwddf o fynydd-dir yn rhedeg o Waen Wina i Waen Gynfi, rhwng y Celynod a Maesdref ar y naill law, a Chae'r bythod a'r Rhiwgoch ar y llaw arall. Yr unig dai ar Waen Gynfi ar y pryd oedd Clwtybont, Caerhedyn, Tynewydd, a'r Caeau uchaf, neu yn hytrach Cae cethin. Blaen y cae oedd y brif fferm yn yr ardal hon, ac y mae yn debyg mai y Rhiwen

oedd yr agosaf ati. Yr oedd y Glasgoed, Tŷ mawr, a'r Castell hefyd i fesur, yn ffermydd helaeth, ond ein bod yn eu cyfrif y tu allan i derfynau ein hanes.

Daear salw ydoedd ac ydyw daear yr ardaloedd hyn, a dyma y rheswm am deneudra y boblogaeth. Byddai pob tyddynwr ar y cyntaf yn amgâu ychydig o'r clytiau tir sychion agosaf at y tŷ, er mwyn cael defnydd ymborth, blawd ceirch, a gwair i'r anifeiliaid; yna byddent yn amgâu rhanau mwy lleithiol yn weirgloddiau, gan ddefnyddio y mynydd-dir yn borfa. Ond yn raddol, er mwyn sicrhâu porfa iddynt eu hunain, dechreuwyd amgâu darnau o'r mynydd-dir yn ffriddoedd. Y mae yn hawdd deall ar rediad y cloddiau pa ranau o'r tir a gauwyd i mewn gyntaf, yr hyn i sylwedydd craff sydd oichwyl dyddorol iawn.

Y mae yn rhaid y bu yr ardal hon unwaith yn lle pwysig, yn gymaint a bod Llys Dinorwig yn ddisgynfa reolaidd i dywysogion Gwynedd. Byddai y tywysogion a'u barwniaid yma yn cynnal eu llys yn rheolaidd bob rhyw hyn a hyn o amser. Ond ar farwolaeth y tywysog Llewelyn, darfu hyny yn llwyr; ac mor llwyr a hyny hefyd y darfu pob argraff o hono ar yr ardal; dim ond ychydig enwau yn aros, megys Cae'r bythod, Maesydref, Bryn yr efail, a Llys Dinorwig, yn goffadwriaeth am y cyfnod.

2. Am foesau trigolion yr ardaloedd hyn cyn dyfodiad y Methodistiaid yma, y mae genym gyflawnder o dystiolaethau mewn côf, y clywsom eu hadrodd gan ein tadau ar hyn. Yr oedd gwasanaeth crefyddol yn cael ei gynnal yn Eglwys blwyfol Llanddeiniolen bob Sabboth yn Gymraeg, a hyny yn gyson er dyddiau y Frenines Elizabeth. Ond ymddengys mai ychydig o ddylanwad daionus a gynnyrchai ar y plwyfolion. Yn ol fel y clywsom, yr oedd yma anwybodaeth trŵch yn teyrnasu, a'r trigolion yn ymroddi i bob arferion pechadurus. Y nosweithiau llawen, y cwrw gwâdd, y cwrw llanciau, y pibnos, a'r rhôlnos, ynghyd a'r twmpath chwareu, oedd yma yn teyrnasu. Pell oddiwrth ein meddwl ydyw haeru nad allai y gwasanaeth yn y Llan fod yn foddion iachawdwriaeth i rywrai, er nas gwelsom ac nas clywsom am ddim o'r fath beth. Bum fy hunan yn myned i'r Llan yn lled gyson gyda'm taid Ifan Siôn Ffowc, y Celyn isaf, hyd nes yr oeddwn yn wyth mlwydd oed. Yr oedd fy nhaid yn Llanwr zelog. Byddai y gwasanaeth yn dechre bob amser am un ar ddeg o'r gloch, ac ni byddai ond un gwasanaeth. Ni bu yma yr un Gŵr Eglwysig yn byw yn y plwyf hyd yn ddiweddar mewn cymhariaeth. Byddai yr hen Eglwys ar y Sabbothau yn rhwydd lawn. Arferai yr hen eglwyswyr gasglu at eu gilydd i'r fynwent yn gynnar, pryd y byddent yn trin ac yn trafod gwahanol helyntion y plwyf a'r wlad, y ffair a'r farchnad. Byddai y clochydd oddiar gareg fedd yn cyhoeddi amser a lle y cynnulliadau llygredig, i gynnulleidfa yr eglwys ar eu hymadawiad. Ni bu yr Eglwys fel y cyfryw yn foddion i ddysgu neb i ddarllen hyd yn ddiweddar. Clywais fy nhad yn adrodd fod fy nhaid, ar ol dyfod adref o'r Llan ryw Sabboth, yn dyweyd wrth ei blant, "Hogiau, y mae'r clochydd wedi cyhoeddi noswaith lawen i fod yn nhŷ Hwn a Hwn; rhaid i chwi fyned yno, mae y gwr wedi bod yn sâl." Y mae yn ddigon amlwg gan hyny nad oedd na Pherson, nac Offeiriad, na Chlochydd, na neb yn gofalu am wneyd dim er attal y llifeiriant o lygredigaeth a'r anwybodaeth oedd yn gwneyd y fath ddinystr ar y trigolion. Ac y mae yn ddigon amlwg nad ydyw yr holl ddiwygiadau sydd wedi bod yn yr Eglwys Wladol ond dynwarediad o'r hyn a wnaed gan Ymneillduwyr. O leiaf, felly y bu yn y plwyf hwn.

3. Er pobpeth, bu i'r ardaloedd hyn ryw gymaint o fanteision addysg yn y ganrif o'r blaen. Rhywbryd er ys mwy na chan' mlynedd yn ol, daeth gŵr o Henllan gerllaw Dinbych, o'r enw John Jones, neu John Sgŵl fel y gelwid ef yn gyffredin, i Landdeiniolen i gadw ysgol ddyddiol. Priododd Margred Sion Ffowc, Celyn isaf; ac yno y bu hyd nes y symudodd yn ol i'w ardal enedigol. Yr oedd y gŵr yn ysgolor da, yn fedrus fel llysieuwr a meddyg, ac hefyd yn cael y gair o feddu y gallu gwerthfawr o ddad-*witchio*. Byddai felly gyrchu mawr ato o bell ac agos. O dan addysg y gŵr hwn, daeth amryw o fechgyn yr ardal yn ysgoleigion go dda. Yr oedd Rolant Ifan y Celyn, ar ol hyny o'r Weirglodd-goch, wedi cael addysg dda; felly hefyd Gruffudd William y Llŷs, neu yr "Hen Dywysog" fel yr arferid ei alw. Yr oedd Rhisiard Morris, Penllyn, yn ŵr ysgoleigaidd. Yr oedd efe yn briod i'r wraig hynod Marged ych Ifan. Yr oedd hefyd yn delynor, yn ddyn darllengar, ac yn meddu ar lyfrgell helaeth. Yr oedd math o swmer ar draws tŷ Penllyn, ac ar hwnw y byddai Rhisiard Morris yn *peilio* ei lyfrau. Clywsom yr hen Siôn Ffowc yn dyweyd fod y *pile* yn cyrhaedd o bared i bared. Gwelsom lyfr trwchus, sef casgliad o Gerddi Cymraeg, yn ei lawysgrif. Bu y llyfr hwn gan David Jones Argraffydd, Trefriw, pan oedd yn casglu "Y Blodeugerdd;" a chyfodwyd o hono gynifer o'r cerddi ag a farnai y gŵr hwnw oeddynt o werth. Ysgrifenodd hefyd *Blodeugerdd* ar bob un o honynt. Rhwng y naill beth a'r llall, yr oedd yma gryn lawer yn

gallu darllen cyn cyfodiad yr Ysgol Sabbothol. Ond er y cwbl, yr oedd grym yr ardalwyr yn hollol anllythyrenog, heb fedru gair ar lyfr. Yr oedd y cryfarfog yn cadw ei neuadd yn y plwyf hwn, ac yr oedd yr hyn oll oedd ganddo mewn heddwch.

4. Yr oedd pregethu a chyfarfodydd crefyddol wedi eu sefydlu yn Waenfawr, Llanberis, a Llanrug cyn bod un cynnyg ar hyny yn Llanddeiniolen. Hyd y gwyddom, William Siôn, Cae corniog, oedd y cyntaf i ymosod ar arloesi anialwch yr ardaloedd hyn. Dyn digrifol a llawn o hylldod neu ysmaldod ydoedd. Ond wrth ddyfod adref o Gaernarfon ryw nos Sadwrn, pan yn Llanrug, clywai ganu mewn tŷ a elwid Twll y clawdd. Yr ydoedd yn hoff o ganu, ac ar y pryd yr oedd yn rhyw hanner meddw. O ryw chwilfrydedd, trôdd i mewn i'r tŷ, a beth oedd yno ond pregeth. Y mae yn dyfod o'r bregeth dan argyhoeddiad dwfn. Yn fuan ymunodd â'r ychydig enwau oedd wedi ymffurfio yn eglwys yn Twll y clawdd. Yn bur ebrwydd ar ol ei dröedigaeth, y mae William Siôn yn dyfod i deimlo yn bur fyw yn herwydd anwybodaeth yr ardalwyr. Mae yn ymosod ar gynnal Ysgol Sabbothol yn y tymmor haf. Byddai yr ysgol hon yn symudol o dŷ i dŷ. Os ceid tŷ gwag, dyna lle y disgynai. Nid oedd y gŵr hwn, y mae yn ymddangos, ond darllenwr bychan ei hunan ar y cyntaf. Yr oedd ei wraig hefyd yn wrthwynebus iddo. Ond er pob anfanteision, y mae yn ymosod ar y gwaith fel yr ydoedd. Os na byddai tŷ gwag i'w gael, cynnaliai yr ysgol yn ei dŷ ei hun. Bu yr ysgol fel hyn ganddo yn Cae'r bythod, Cae'r gwyddel, a Throsywaen, neu yn hytrach yn Wern-gau. Bu William Siôn yn llafurio fel hyn gyda'r ysgol dros ryw dymmorau heb neb i'w gynnorthwyo. Byddai ganddo wialen fedw yn ei law bob amser. Byddai yn gorfod codi weithiau ar ganol y weddi i geryddu y plant, ac yna yn syrthio ar ei liniau drachefn i orphen y weddi. William Siôn, Cae corniog, gan hyny oedd apostol yr ardaloedd hyn.

5. Yr oedd achos crefyddol wedi ei sefydlu yn gynnar yn Twllyclawdd, Llanrug. Cyn hir, adeiladwyd capel bychan ar y rhôs, ond nid heb fesur o wrthwynebiad gan foneddwr oedd yn byw yn y plwyf. Capelcoch (Llanberis), Llanrug, a'r Waenfawr, oedd y daith Sabbothol y pryd yma; ond cyn hyny bu Capelcoch, Waenfawr, a Chaernarfon yn ffurfio math o daith. O ran hyny, nid oedd nemawr o drefn ar deithiau Sabbothol yr adeg yma, ond cymerid pob man bron fel y dygwyddai fod. Byddai y pregethwyr hefyd yn trefnu cryn lawer ar eu cyhoeddiadau eu hunain. Un o'r pedwar Methodist cyntaf yn Llanberis oedd William Jones, Pen'rallt, Dinorwig. Yr oedd merch i'r gŵr hwn yn byw yn Caehywel. Dywedir mai yn y Caehywel yma y bu y bregeth Ymneillduol gyntaf yn mhlwyf Llanddeiniolen, ac mai Robert Jones, Tŷ Bwlcyn, oedd y pregethwr. Modd bynag, llwyddodd William Siôn, Caecorniog, i gael ambell i bregeth yn awr ac yn y man i'w dŷ. Yr oedd wedi gwneyd math o bulpud bychan i'w dynu a'i roi. Ar ei farwolaeth ef, symudwyd yr hen bulpud i Tŷ'n yr hendre. Gresyn yn wir oedd iddo fyned ar goll. Mae hen Fibl William Siôn ar gael eto. Gan nad allai ei wraig wneyd dim â'r Bibl, fe'i gwerthodd i un Elizabeth Roberts, Caecorniog, am hanner coron; ac y mae yn aros hyd heddyw yn meddiant rhai o'r plant.

6. Yr oedd gŵr yn pregethu y pryd hwn yn Llanrug o'r enw Hugh Williams, Drws y ddeugoed. Dyn hwyliog ac o ddawn ystwyth ydoedd. Byddai yn pregethu dan wylo, ac yn galw ei ddagrau yn dystion o gywirdeb ei fater a'i amcan. Dyn digrefydd ydoedd ar y goreu, fel y profodd cyn diwedd ei oes. Er hyn bu yn foddion i ddwyn bendithion yr efengyl i laweroedd. Byddai y pregethu a fyddai yn achlysurol yn Cae corniog yn codi awydd yn rhai o'r ardalwyr i fyned i wrando i Lanrug a manau eraill. Un o'r crefyddwyr cyntaf yn yr ardal hon oedd Owen Thomas y llinwr. Yr oedd yn daid i Dr. Owen Thomas, Liverpool. Yr oedd trin llîn yn grefft bwysig iawn unwaith. Byddai gan bob tyddynwr lain o gywarch neu lîn yn ei faes. A gwaith y llinwr fyddai myned oddiamgylch o dŷ i dŷ i drin y llîn a'r cywarch, er ei wneyd yn gymhwys i'r merched i'w nyddu. Er fod Owen Thomas yn aelod yn Llanrug, ac yn byw yn Mhen isa'r Waen, nid ydym yn gwybod iddo fod o nemawr help i William Siôn gyda'r Ysgol Sabbothol. Yr oedd gwaith ei grefft yn darfod yn Arfon, fel y byddai yn gorfod treulio llawer o'i amser yn Sir Fôn; a chyn pen hir iawn, symudodd yno yn gyfangwbl. Yr oedd ganddo chwech neu saith o fechgyn, a throisant allan yn ddynion pwysig a gwerthfawr i Fethodistiaeth yn eu gwahanol ardaloedd. Cyn hir daeth Rolant Ifan, Weirglodd goch, yn gymhorth i William Siôn gyda'r Ysgol. Er nad oedd yn proffesu crefydd am flynyddoedd lawer ar ol yr adeg yma, yr oedd yn ddyn gwybodus ac yn ddarllenwr mawr, ac felly o werth annhraethol i'r hen gristion i ddwyn ymlaen ei waith da o addysgu y plant yn Ngair yr Arglwydd. Yr oedd hefyd yn gwnstabl, ac felly yn ddyn o ddylanwad, ac yn ofn i weithredoedd drwg.

7. Nid ydym yn gwybod pa flwyddyn

yn niwedd y ganrif o'r blaen y bu William Siôn, Cae corniog, farw. Erbyn hyny yr oedd amryw o ardaloedd Llanddeiniolen wedi ymuno â'r eglwys yn Llanrug, ac yn eu plith Rowland Dafydd a'i wraig Margaret Owen, Tŷ'n yr hendre; ac yn Tŷ'n yr hendre bellach y byddai ambell bregeth i'w chael. Erbyn dechre y ganrif hon, yr oedd crefyddwyr yn amlhâu yn yr ardaloedd hyn. Ymunodd Rowland Abraham â'r eglwys yn Llanrug. Yr oedd rhai chwïorydd lled hynod wedi ymuno â'r eglwys yn y lle hwn yn flaenorol, megys Catherine Rowlands, Brynmadog, Priscilla Prichard, Bryn'refail, a Siân Morris, Penllyn, y rhai a ddaethant i fod yn famau amlwg yn Israel. Tua'r flwyddyn 1799, daeth John ac Ellen Roberts i fyw i'r Castell. Yr oedd John Roberts yn flaenor yn Llanllyfni, a gŵr da, o synwyr cryf, o wybodaeth helaeth, a barn addfed ydoedd. Bu yn dda iawn ei gael gyda'r achos yn Llanrug. Tua'r un amser hefyd y symudodd Robert Roberts a'i deulu o'r Fachwen i Blaenycae. Gan y bu tri o'r un enw, rhaid i ni ei alw ef yn Robert Roberts y cyntaf. Yr oedd y Robert Roberts hwn yn orzelog gyda phethau crefydd, ac yn elyn calon i bob arferion drygionus. Gwnaeth ei ran yn ddewr yn ei oes o blaid yr achos goreu yn ei ardal. Bellach byddai pregethu lled fynych yn y Castell a Blaenycae, yn gystal â manau eraill yn y plwyf, ond dim yn sefydlog. Bu y Parch. Daniel Jones, Llandegai, yn dyfod yr holl ffordd o Goedyparc dros y mynydd i Blaenycae ar ol cadw noswyl, a hyny bob nos Iau am flwyddyn gyfan, i bregethu; a dychwelai adref ar ol darfod, a'r cwbl yn rhad ac am ddim.

8. Fel yr oedd crefyddwyr yn amlhâu, dechreuent anesmwytho am gael capel ac achos wedi ei sefydlu yn eu plith. Ond yr oedd brodyr Llanrug yn wrthwynebus iawn i hyny, gan haeru mai eisieu "ffynnon ddiogi" oedd ar frodyr Llanddeiniolen. Eithr yr oedd gwrthwynebiad brodyr Llanrug yn tanio zel y brodyr yr ochr yma i'r Rhyddallt. A'r mwyaf ei zel oedd yr hen Robert Roberts, Blaenycae. Er nad oedd yn swyddog eglwysig, aeth i Gyfarfod Misol Beddgelert i ddadleu ei achos, a llwyddodd. Mae y Cyfarfod Misol yn anfon dau o frodyr gyda John Roberts y Castell i weled y lle, ac i gynllunio maint a ffurf y capel. Yr oedd gwddf-dir yn rhedeg cydrhwng y Celyn a Chae'rbythod, a Maesydref a Rhiwgoch, ac yn ymagor i Waen Gynfi, a elwid Rhwng-y-ddau-gau. A chan fod hwn yn *gommon*, heb ei feddiannu gan neb, penderfynodd y brodyr mai dyma y lle i adeiladu y capel; ac felly y bu. Adeiladwyd yma gwt o gapel wyth lath wrth chwech, yn y ffordd rataf a'r ffordd gyntaf. Llawr pridd oedd iddo, a meinciau o'r gwneuthuriad mwyaf cartrefol, pulpud a sêdd o bobtu iddo, a'r oll heb gymaint â brwsiad o baent. Cyn pen hir gosodwyd seti o'i amgylch, a rhoddmath o groglofft ar un talcen iddo. Codwyd tŷ capel dan y talcen isaf. Ac er mwyn cael arian i dalu am yr adeiladau, aeth brodyr drwy yr holl ardaloedd cylchynol i gasglu tuag ato. Llwyddwyd fel hyn i'w gael yn ddiddyled. Bellach, dyma gapel ac eglwys o ddau ar bymtheg o rifedi wedi ei sefydlu yn yr ardal, a John Roberts, Castell, gŵr call, yn flaenor arnynt. Adeiladwyd y capel hwn yn gynnar yn y flwyddyn 1808.

9. Yn y flwyddyn 1809, pasiwyd yr *Enclosures Act*, i gau y *commons* a'u rhoddi at yr etifeddiaethau oedd yn terfynu arnynt. Dyma un o'r deddfau mwyaf gorthrymus ac annhêg a basiwyd erioed gan Senedd Prydain. Anfonodd awdurdodau yr *Woods and Forests* ddirprwywyr i gau i mewn y gwahanol *gommons*. Daethant yn eu tro i'r plwyf hwn i ranu "tir pawb" rhwng etifeddiaethau y Faenol a Choed Alun. Yr oedd Robert Llwyd, Brynadda, is-oruchwyliwr ystad y Faenol, gyda hwy. Pan y daethant at y capel, gofynasant i Robert Llwyd pa beth ydoedd. Yr oedd gŵr Brynadda yn ffafriol i Fethodistiaeth, ac atebodd mai ysgoldŷ i roddi addysg i blant tlodion ydoedd. Ac felly gadawodd y boneddigion y llain tir a'r capel oedd wedi ei adeiladu arno heb ei *enclosio* i'r Faenol na Choed Alun. A rhag ennyn digofaint y perchenogion tiroedd, dymunodd Robert Llwyd ar i'r capel gael ei alw yn YSGOLDY; ac felly y galwyd ac y gelwir ef hyd heddyw.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD X.

*Ar y Carped.*

WEDI bod agos i ddiwrnod a noswaith yn fy ngwely, i'r dyben o geisio ymiachâu o fy nghlwyfau, nid rhyw lawer gwell oeddwn pan gyfodais. Yn hytrach teimlwn fel pe buaswn wedi bod yn cysgu mewn *starch*, gan mor anystwyth oeddwn wrth geisio ymsymud. Ond er mor boenus oeddwn, yr oedd y syniad fy mod wedi "gorphen fy ysgol" yn fwy na digon i fy nghynnal o dan y brofedigaeth. Edrychai fy mam yn isel o'i hysbryd a digalon, a sylwais ei bod yn ocheneidio yn fynych. Tybiwn fy mod yn gwybod pa beth oedd yn blino ei meddwl, a theimlwn yn efidus

fy nghalon am mai fy nireidi i a ddygasai yr holl flinder hwn arni. Eto nid oedd yn dannod dim i mi, a'r unig wahaniaeth yn ei hymddygiad tuag ataf oedd ei bod yn ddystaw a phrudd. Ni ddarfu iddi gymaint a gofyn i mi pa fodd yr oeddwn yn teimlo, rhag y buasai hyny, dybygid, yn peri i mi feddwl nad oedd y cerydd tost a gawswn ond yr hyn yr oeddwn yn ei gyfiawn haeddu; ac eto gwyddwn o'r goreu y dymunasai hi yn fawr gael gwybod.

Yr wyf yn meddwl, os nad ydwyf yn twyllo fy hun, fod ynof er yn lled ieuanc ryw gymaint o graffder i ddeall lled-awgrymiadau ac arwyddion, a bod hyny i raddau yn aros ynof hyd y dydd hwn. Yr wyf yn cofio yn burion pan ddeuai cymydoges i'n tŷ ni, y byddai fy mam, rhag i mi ddeall yr ymddyddan, yn siarad ar ddammegion, ac yn sylwi wrth ei chyfeilles "fod gan foch bychain glustiau mawr," gan feddwl yn ei diniweidrwydd nad oeddwn i yn deall hyny. Ond gwyddwn o'r goreu mai fi oedd y mochyn bychan, a byddwn yn gallu dilyn yr ymddyddan yn lled lew, pan dybiai hi ei bod yn siarad Lladin i mi. Tybiai fy mam y bore hwnw nad oeddwn yn ei gweled yn sylwi yn ddirgel arnaf yn ymsymud; ond yr oeddwn, serch hyny, ac yn deall ei chalon cystal â phe buasai yn ei chario ar ei llaw. O mor annheilwng oeddwn i o'r gofal, y pryder, a'r cariad oedd yn y galon hono tuag ataf! Ni wyddwn i ar y pryd am yr hyn oedd yn pwyso mwyaf ar ei meddwl. Y ffaith fod amgylchiadau yn galw am ddysgyblaeth eglwysig ar ei meibion ydoedd hwnw.

Rywbryd yn ystod y diwrnod deallais fod Wil Bryan a John Beck yn sefyllian yn agos i'n tŷ ni, ac yn awyddus am fy ngweled. Tra yr oedd fy mam yn pobi torth, aethum allan yn ddystaw; ac yn nghongl yr ardd cafodd fy nau gyfaill a minnau ymgom faith a chyfrinachol. Wrth *compario notes*, deallais fod yr helynt yn yr Eglwys a'r ysgol yn wybyddus yn yr holl ardal—fod Bryan a Beck wedi cael curfa gan eu rhieni—yr hon, fel yr addefent hwy eu hunain, nad oedd yn werth sôn am dani o'i chymharu â'r gurfa dost a gawswn i. Yr oedd yr addefiad hwn yn peri i mi feddwl drachefn fy mod yn un oedd wedi dyfod "trwy lawer," a theimlwn fy hun yn rhyw fath o wron. Deallais ymhellach na fu yr un o'm dau gyfaill yn yr ysgol y diwrnod hwnw—fod Beck wedi cael caniatâd i aros gartref nes i'w dad gael cyfleusdra i siarad â'r meistr, a bod Bryan, er iddo gael gorchymyn pendant gan ei dad i fyned i'r ysgol, wedi "chwareu *triwels*." Yn ystod yr ymddyddan a fu rhyngom, gwnaethum ddau sylw a effeithiodd yn fawr arnynt. Un sylw oedd fod fy mam wedi dyweyd fy mod wedi cael llawn ddigon o ysgol. Edrychodd y ddau arnaf yn anghrediniol a cheufigenus, ac fel pe buasent yn methu sylweddoli fod y fath hapusrwydd yn bosibl i greadur o ddyn. Wedi yr arwyddion cyffredin o syndod, dywedodd Bryan,

"Rhys, b'aswn yn foddlon i'r hen *Warrior* rwymo fy nwylaw ar fy nghefn, a gwneyd i mi sefyll am awr ar un goes, ac wed'yn iddo dori cansen newydd ar fy ngwâr, ond i'r *gaffer* acw (ei dad) ddeyd yr un peth wrtha i."

Rhoddodd Beck nog i arwyddo y buasai yntau yn foddlawn i fyned trwy yr un oruchwyliaeth. Nid llai oedd eu syndod pan hysbysais hwynt fod achos Bob a minnau a Bryan i gael ei ddwyn o flaen y seiat y noson hono. Nid oedd gan Beck fel eglwyswr syniad clir iawn am yr hyn a olygid wrth y termau "seiat," a "dwyn o flaen y seiat," hyd nes i Bryan roddi iddo yr eglurhâd canlynol. Yr oedd gan Wil allu neillduol i roddi darnodiad o rywbeth y tybiai efe ei fod yn ei ddeall, ac fel hyn y darnododd i Beck natur ac amcan seiat:—

"Wel i ti," ebe fe, "seiat ydi lot o bobol dda yn meddwl eu bod nhw yn ddrwg, ac yn cyfarfod eu gilydd bob nos Fawrth i feïo ac i redeg eu hunain i lawr."

"Dydw i ddim yn dy ddâllt di," ebe Beck.

"Wel," ebe Wil, "drycha arno fo fel hyn. 'Rwyt ti yn nabod yr hen Mrs. Peters, ac yr wyt yn nabod mam Rhys yma—nid am fod Rhys yma yr ydw i'n deyd—ond y mae pawb yn gwbod eu bod nhw yn ddwy ddynes dda a duwiol. Wel, mae nhw yn myn'd i'r seiat, ac y mae Abel Hughes yn myn'd atyn' nhw, ac yn gofyn be sy ar 'u meddwl nhw. Mae nhwthe yn deyd fod nhw yn ddrwg iawn, ac yn euog o wn i ddim faint o bethe, a mi fydd Mrs. Peters yn amal yn deyd hyny dan grïo. Ar ol hyny, mi fydd Abel yn deyd nad ydyn' nhw ddim mor ddrwg ag y mae nhw'n meddwl, ac yn rhoi cynghor iddyn' nhw, ac yn deyd lot o adnodau, ac wed'yn yn myn'd at rwfun arall, ac mi fydd hwnw yn deyd yr un peth; ac felly o hyd nes y bydd hi yn hanner awr wedi wyth, ag ono mi fyddwn yn myn'd adre'."

"'Does dim byd fel ene yn 'r Eglwys," ebe Beck; "fydd gynon ni byth seiat, a chlywes i neb erioed yn rhedeg ei hun i lawr acw."

"Dyna lle mae'r gwahaniaeth rhwng yr Eglwys a'r capel," ebe Wil; "'rydach ch'i pobol yr Eglwys yn meddwl bod ch'i yn dda a chithe yn ddrwg, a phobol y capel yn meddwl eu bod nhw yn ddrwg a nhwthe yn dda."

"Wyt ti ddim yn meddwl deyd wrtha i," ebe Beck, "fod pawb sydd yn perthyn i'r seiat yn bobol dda, a phawb sydd yn perthyn i'r Eglwys yn bobol ddrwg?"

"Mae pawb," ebe Wil, "sydd yn cymyd eu cymun yn y capel yn bobol dda, er eu bod nhw'n meddwl bod nhw'n ddrwg, a phawb sydd yn cymyd eu cymun yn 'r Eglwys yn meddwl bod nhw'n dda, a dros eu hanner nhw yn bobol ddrwg. Dyna yr Hen Sowldiwr: mi wyddost o'r gore fod o'n cymyd ei gymun ar fore Sul i blesio Mr. Brown, a nos Sul mi fydd yn y *Cross Foxes* yn potio nes y bydd o yn rhy ddall i wel'd y ffordd adre'. Dase fo yn y capel, wel di, mi fase yn cael y *kick out* yn syth. Ond bryd y gweles di neb yn cael ei dori allan o'r Eglwys?"

Nid oedd Beck yn un parod i gyfarfod gwrthddadl; ac felly aeth Bryan ymlaen i esbonio pa beth a olygid wrth "ddwyn o flaen y seiat."

"Wel i ti," ebe Wil, "pan fydd rhwfun sydd yn perthyn i'r seiat wedi gneyd drwg, achos dydyn nhwthe ddim yn berffeth wyddost, mi fydd rhwfun arall yn union yn myn'd at y blaenoriaid i glepian arno fo; ac yn y seiat ar ol hyny mi fydd Abel Hughes yn ei alw fo i gownt. Os rhwfun tlawd fydd o, 'run fath â William y glo, mi fydd Abel yn gwneyd iddo fo ddwad ar y fainc o flaen y sêt fawr; ond os bydd o yn ddyn mawr, 'run fath â Mr. Richards y *draper*, mi fydd Abel yn myn'd ato fo."

"Wel, be' fydd Abel yn neyd iddo fo? fydd o yn ei gymyd o i'r *jail?*" gofynai Beck.

"Dim peryg'," ebe Wil; "mi fydd Abel yn chwilio i'r achos, ac yn gofyn i un neu ddau ddeyd gair; ac os bydd o yn edifeiriol, a 'run fath â William y glo yn rhoi y bai ar Satan, ac yn deyd na naiff o byth eto, mi fyddan' yn madde iddo fo; ond os bydd o 'run fath â Mr. Richards y *draper* yn gwrthod deyd dim byd, mi fyddan' yn ei attal oddiwrth y cymun am dri mis ne chwaneg, ne yn ei dori allan o'r seiat. 'Does dim llawer o *harm* yn y peth, wyddost, ond ei fod yn dipyn o foddar; a mi fase yn dda gen' i gael peidio myn'd i'r seiat heno; ond rhaid i mi fyn'd, ne mi fydd acw *row.*"

Er fy mod rai blynyddau yn ieuengach na Bryan, yr oeddwn yn ystyried y seiat yn rhywbeth pwysicach o lawer nag y gosodid hi allan ganddo ef. Yr oedd fy mam wedi fy nysgu i feddwl felly am dani. Ond o ran hyny, yn ysgafn yr edrychai Wil Bryan ar bobpeth, a hyn fu ei ddinystr. Pa fodd bynag, cafodd geiriau olaf Beck gryn argraff arnaf, yr hwn a ddywedodd fel hyn,—

"*Boys*, mae'n well gen' i drefn yr Eglwys na threfn y capel. Mi gaiff pawb sydd yn perthyn i'r Eglwys neyd fel mae nhw yn leicio, a neiff neb eu galw i gownt. Mae pawb acw yn meindio ei fusnes ei hun, a felly mae hi ore, yn 'y meddwl i."

Byddai Bryan yn gyffredin yn zelog dros y capel; ond yr oedd yn amlwg i mi ei fod yn tuedda i feddwl yr un fath â Beck ar y pen hwn; ac fel diweddglo dywedodd,—

"Fel hyn y mae hi, John: mae hi yn fwy cyfforddus yn 'r Eglwys, ond yn fwy sâff yn y capel."

Hyd yr wyf yn cofio, hon oedd yr ymdriniaeth gyntaf a glywais ar "natur eglwys," a gadawodd argraff ddyfnach ar fy meddwl nag ambell un a glywais yn ddiweddarach gan bersonau pwysicach ac o honiadau uwch. Nid allwn i, pa fodd bynag, edrych ar ddysgyblaeth eglwysig yn y wedd yr edrychai Wil Bryan arni; ac yr oedd fy mhryder yn fawr wrth feddwl am fyned i'r seiat y noson hono.

Yr adeg i fyned a ddaeth; ac wrth weled Bob yn hwylio ei hun, ni thybiodd fy mam yn anghenrheidiol siarad dim âg ef ar y mater. Cychwynodd hi a ninnau tua'r capel; ond wedi myned gam neu ddau, trodd fy mam yn ei hol, a chlywais hi yn dyweyd, "Bob, paid di â bod yn *stiff* heno, yr wyf yn crefu arnat," ac yna aethom yn ein blaenau.

Wrth alw i'm cof y seiat hono, nid allaf beidio meddwl am amryw o'r hen gymeriadau oedd ynddi, y rhai erbyn hyn, chwedl yr hen Mrs. Tibbet, ydynt "wedi myned i'w haped." Dyna Abel Hughes, am yr hwn yr wyf wedi sôn tipyn yn barod. Gŵr duwiol, cadarn yn yr Ysgrythyrau, a phenderfynol ei feddwl, oedd ef. Ei unig fai, am a wn i, oedd ei fod dipyn yn rhy llym. Dyna y diniwed Hugh Bellis, y gŵr llariaidd tyner-galon, yr hwn a fyddai bob amser yn wylo o dan y bregeth, ac yn zelog am faddeu i bawb, pa ddrwg bynag a fyddent wedi ei wneyd. Addefai y rhai mwyaf dibarch i grefydd fod Hugh yn dduwiol iawn. Dyna Edward Peters, gŵr manwl a gofalus gyda'r llyfrau, ond crabed ac anmhoblogaidd gyda'r plant, am na adawai iddynt fyned allan ar ganol y moddion. Byth ni ddywedai air yn gyhoeddus oddieithr ynglŷn â'r casgliadau neu arian seti. Eto yr oedd ganddo ef waelod da, ac yr oedd yn meddu ymddiried yr eglwys. Dyna Thomas Bowen y pregethwr: dyn bywiog, zelog, a sydyn ei dymher— beunydd yn gwneyd camgymeriadau ac yn galw ei eiriau yn ol. Dyna Mr. Richards y *draper:* gŵr balch ac ymddangosiadus, bob amser am fod ar y blaen, a phawb am ei gadw yn ol. Dyna William y glo, gŵr tlawd, bychan ei gorff a'i feddwl, meddal a hawdd ei berswadio. Gelwid ef yn Wil-

liam y glo, am fod rhai o'i deulu er cyn cof yn gwerthu glo wrth y geiniogwerth. Bob gauaf, pan fyddai y gwaith yn brin, byddai William yn zelog yn y seiat; ond pan ddeuai y cynauaf, byddai William yn dueddol i yfed i ormodedd, ac yna diarddelid ef. Maddeuwyd iddo lawer trosedd, am y credid nad oedd yn hollol fel dynion eraill. Clywais fy mam yn dyweyd fod gwreiddyn y mater gan William, ond fod ei foncyff a'i gangenau yn rhy weiniaid i ddal y gwynt croes. Ac yr oeddwn innau o'r un meddwl â hi, oblegid byddai William bob amser wrth weddïo yn colli dagrau; a thybiwn pan yn fachgen fod pob un a fyddai yn wylo wrth weddïo yn dduwiol iawn, ac y mae y syniad yn glynu ynof o hyd. Dyna John Lloyd hefyd—coffa cas am dano: dyn tàl, main, gwyneblym, croendew, a blinderog. Byddai efe yn ffyddlawn iawn yn y moddion, a phob amser yn beïo ar rywun neu rywbeth. "Yr hen grafwr" y galwai Wil Bryan ef. Tybid ei fod yn gybydd mawr; ac o herwydd hyny ni fu trwy ystod ei oes dan ddysgyblaeth eglwysig, am fod ei gariad at arian yn ei gadw rhag meddwi, a rhag mynychu unrhyw le gwaharddedig. Yr oedd yn zelog yn erbyn cyfarfodydd tê, cyngherddau, a phob cynnulliad y byddai raid dangos pen y brenin neu y frenines fel trwydded i fyned i mewn. Yr oedd yn siaradwr synwyrol ar gynnildeb a darbodaeth. Byddai ei ofal am ysbrydolrwydd crefydd yn fawr iawn, ac ofnai yn fynych fod gormod o sôn am arian, ac o bregethu am arian. Ceisiai fy mam gredu fod y gwreiddyn ganddo yntau, ond ofnai fod pryf yn ei fwyta yn rhywle, a hyny yn peri fod ei ddail yn surion. Iё, dyna Seth hefyd, y bachgen gwirion, am yr hwn y bydd raid i mi sôn eto, gan iddo ef fod yn achlysur i ffurfio cyfnod ar fy oes. Ac amryw eraill y gallaswn enwi, ychydig o ba rai a ddaw dan sylw eto.

Yr oedd yno gynnulliad anarferol o fawr yn y seiat y noswaith hono. Nid oedd prin ewin yn ol. Yr wyf wedi sylwi byth ar ol hyny, pan fydd rhywun i gael ei ddysgyblu, fod hyny yn effeithiol iawn i ddwyn y cyfeillion ynghyd. Mae rhywbeth mewn pobl dda cyffelyb, o ran natur, i'r hyn sydd mewn pobl heb fod felly yn eu cymhell i fyned i weled dyn yn cael ei grogi. Eisteddai Wil Bryan a minnau yn ymyl ein gilydd yn nghanol y plant; a synwn sut yr oedd efe yn gallu bod mor ddidaro. Dechreuwyd y cyfarfod gan Thomas Bowen, a gwrandawn yn ddyfal arno rhag y buasai yn cyfeirio rhywbeth ataf fi; ond ni ddarfu. Pan oedd Thomas yn gweddïo, sisialodd Wil yn fy nghlust i, "Os gnâ nhw ofyn rhwbeth i ni, gad i ni ddeyd 'run fath â William y glo, na nawn ni byth eto, ac mae nhw'n siwr o fadde i ni." Dywedodd Wil lawer o bethau, ond yr oeddwn yn rhy bryderus i sylwi arnynt. Gwrandäwyd y plant yn adrodd eu hadnodau gan Abel Hughes; a phan ddaeth at Bryan a minnau, aeth heibio i ni heb ofyn am ein hadnod. Yr oedd yr ystorm yn dechre, ac er fy mod â 'mhen i lawr, fel y dywedir, gwyddwn fod pawb yn edrych arnaf, a theimlwn eu llygaid yn fy llosgi trwy fy siaced felfed. Wrth i mi yspïo o dan fy nghuwch, gwelwn Wil â'i ben i fyny, ac yn edrych o'i gwmpas yn hollol ddigywilydd. Wedi i Abel Hughes orphen gyda'r plant, dywedodd Thomas Bowen air yn gyffredinol, ac annogodd Hugh Bellis i siarad, ac yntau a wnaeth sylwadau ar bregethau y Sabboth, gan ddadgan yn effeithiol am y fendith yr oedd efe wedi ei chael drwyddynt. Yna gofynodd Thomas Bowen a oedd gan rywun arall air yn yr un cyfeiriad. Wedi aros tipyn, cododd Edward Peters ar ei draed i adgofio y brodyr fod y chwarter seti i fyny. Ar ol hyn bu dystawrwydd a chydymgynghoriad rhwng Abel a Thomas Bowen. Clywais Abel yn dyweyd, "Gwnewch chwi, Thomas," a Thomas yn dyweyd, "Na, gwnewch chwi, Abel."

Gwelaf Abel yn ei gap melfed yn codi ar ei draed, ac yn edrych yn ddifrifol a chynhyrfus. Da fuasai genyf allu croniclo geiriau y gŵr gonest a chywir hwnw fel y traddododd efe hwynt, ond nis gallaf. Cof genyf ei fod yn sôn am "achos anhyfryd"—am "blant y seiat yn ymddwyn fel y byd"—am "waradwyddo achos crefydd"—am "gadw y ddysgyblaeth i fyny," ac yn y blaen. Siaradodd yn hir ac yn hallt; ac yna enwodd Bob fy mrawd, a minnau a Bryan, fel y troseddwyr.

Wedi i Abel eistedd, dywedodd John Llwyd fod eisieu i'r eglwys gael gwybod gan y swyddogion beth oedd natur y trosedd. "Gwranda di ar yr hen grafwr," ebe Wil yn fy nghlust. Atebodd Abel ei fod ef yn credu fod y trosedd yn eithaf hysbys i John Llwyd, ac i bawb arall, ac nad doeth a fyddai myned dros yr amgylchiadau. Yna cododd Thomas Bowen ar ei draed yn sydyn; a dywedodd rywbeth i'r perwyl canlynol:

"Frodyr, plant ydi plant, ac mae eisieu i ni gofio ein bod ni i gyd wedi bod yn blant. Mae yn ddrwg iawn gen' i am yr helynt, ac y mae Abel Hughes wedi gwneyd yn burion wrth ddwyn y peth i sylw. Ond be fedrwn ni wneyd ond rhoi gair o gynghor i'r bechgyn druain? Cofiwch, frodyr, dydw i 'n sôn dim am Robert Lewis yrwan; mae o mewn oed a synwyr; ond am William Bryan a Rhys Lewis, mae nhw dan oed—yn ifainc ac yn wirion; a bechgyn clên anwêdd ydyn' nhw hefyd. Pwy

sy'n deyd eu badnod yn well na William a Rhys? Piti garw sôn i'r bechgyn wneyd drwg. Oes gynat ti rwbeth i ddeyd, William v machgen i?"

"Wna i byth eto," ebe Wil.

"Da machgen i," ebe Thomas; "ydi 'n ddrwg gynat ti am y peth a ddaru ti wneyd?"

"Ydi," ebe Wil; ac ar yr un pryd pinsiodd fi mor dost yn fy nghoes fel nad allwn beidio wylo.

"Wyt tithe yn deyd yr un peth, Rhys?" gofynai Abel; "ond o ran hyny does dim eisieu gofyn i Rhys—mae Rhys â'i ddagrau yn lli'. Abel Hughes, ydach chi 'n clywed be mae'r bechgyn yn ddeyd? mae'n ddrwg gynyn nhw am y peth, ac mae nhw 'n deyd na wna nhw byth eto; a beth a fedrem ddyweyd yn well ein hunain na galaru am y bai a phenderfynu peidio ei wneyd mwy? Beth ydym i wneyd â'r bechgyn, Abel Hughes?"

"Gwnewch fel y mynoch â nhw," ebe Abel yn sarug.

"Wel, frodyr," ebe Thomas, "fedrwn ni wneyd dim yn well â'r bechgyn na rhoi gair o gynghor iddynt, a'u gollwng i fyn'd adre, gan fod genym achos arall pwysicach i fyn'd ato."

Wedi i Thomas Bowen roddi cynghor da a charedig i ni, dywedodd wrthym am fyned adref yn blant da. Nid cynt y dywedodd y gair nag y rhuthrodd y plant allan am y cyntaf. Wedi i mi fyned trwy y drws, gafaelodd Wil Bryan yn fy mraich, a rhoddodd *right wheel* i mi gydag ochr y capel. Teimlwn yn ddig wrtho, a gofynais iddo paham y darfu iddo fy *mhinsio* mor dost yn y capel?

"Er mwyn i ti grïo, y gwirion," ebe fe; mi wyddwn o'r gore na fedret ti ddeyd yr un gair, a'r crïo wnaeth y *job*, wel di. On' ddeudais i i ti y base nhw yn madde i ni? Ond rhaid i ni gael gweled be ddaw o Bob."

Yn mur ochr yr hen addoldŷ yr oedd drws yn agor i risiau y *gallery*, a thrwy yr hwn yr elai Marged Tŷ'r capel i agor ac i gau yr adeilad, a'r hwn felly oedd yn anghlöedig y noson hon. Deallais mewn amrantiad pa beth oedd bwriad Wil; a rhaid oedd i mi ei ddilyn, oblegid yr oedd ganddo ryw gyfaredd drosof nad allwn ei wrthsefyll. Agorodd Wil y drws yn ddystaw, a chauodd ef yr un modd. Yn y tywyllwch dywedodd wrthyf, "Tyn dy glogs, a rho nhw yr ochr yna, a mi ro inau fy nghlogs yr ochr yma, er mwyn i ni wbod pan ddown ni i'lawr." Gwnaethum felly; ac ebe Wil, "I fyny â ni yrwan càn ddystawed â llygod." Ac felly yr aethom ar ein pedwar, Wil yn arwain, nes cyrhaeddyd sêt y cloc, hoff le Wil. Yn y fan hon y buom yn gwrandaw ar holl achos Bob yn cael ei drin; a gallwn, yr wyf yn meddwl, ei adrodd ymron air am air; ond i ba ddyben? Mae yr amgylchiad yn rhy boenus i mi aros yn hir uwch ei ben. Dywedwyd yno eiriau fel brâth cleddyf, yn enwedig gan John Llwyd. Teimlwn yn ddig enbyd wrtho, oblegid gan nad pa mor euog oedd Bob, gwyddwn ei fod yn well dyn gan' mil o weithiau nag efe. Er fod Bob wedi gwneyd allan o'i le wrth ymosod ar yr Hen Sowldiwr fel y darfu, yr oedd wedi gwneyd hyny i achub fy ngham i; a gwyddwn fod ganddo galon mor fawr a theimlad lol fel y buasai yn aberthu ei fywyd, nid drosof fi yn unig, ond dros unrhyw un a welai yn cael cam. Ond am John Llwyd, nid oedd ganddo ef gariad at ddim ond arian, ac nid oedd ei galon yn fwy na chalon pryf copyn. Eto hwn oedd y dyn a fwriai y llysnafedd mwyaf brwnt ar ben Bob y noson hono; ac y mae arnaf ofn nad ydwyf byth wedi maddeu iddo, oblegid credu yr wyf mae ei eiriau cas ef a barodd i Bob fod mor ystyfnig. Gwn y gallasai oddef cerydd llym Abel Hughes, ac y buasai geiriau caredig Thomas Bowen, pan oedd efe yn ymliw âg ef, yn lliniaru ei galon; ond yr oedd picellau gwenwynig rhagrithiwr culfarn yn ei galedu a'i ystyfnigo; a phrotestiai Bob ar g'oedd y seiat nad oedd ganddo ddim i edifarhâu o'i blegid.

Byth nid anghofiaf yr hanner awr hono yn sêt y cloc. Teimlwn yn ddig wrth Bryan am ei fod mor gellweirus. Pan oedd achos Bob yn cael ei drin, yr oedd Wil yn tori ei enw gyda'i gyllell ar y sêt ac yn gwneyd sylwadau ar bob un a fyddai yn siarad, a hyny mor uchel fel yr oeddwn yn gorfod crefu arno yn barhâus i fod yn ddystaw, rhag i ni gael ein darganfod. Teimlwn gymaint dros Bob fel nad allwn beidio wylo; a gofynodd Wil yn wawdlyd i mi a oeddwn yn cael fy mlino gan y ddannodd. Ymddengys yn rhyfedd i mi yn awr fod fy syniadau am amryw bersonau yn y seiat y magwyd fi ynddi wedi eu ffurfio tra yr oeddwn yn sêt y cloc. Gwelwn er ys meityn beth fyddai diwedd yr ymdriniaeth, a meddyliwn y fath ergyd ofnadwy a fyddai i fy mam; oblegid nid oedd hi wedi dychymygu am i Bob gael ei ddiarddel. Ond nid oedd dim arall i fod tra yr oedd efe yn dal i ddyweyd y gwnai yr un peth drachefn o dan yr un amgylchiadau. Dywedodd Wil Bryan lawer gwaith tra yr oedd yn tori ei enw ar y sêt fod Bob "yn ei misio hi. Pe dae o yn gwneyd fel William y glo," ebe Wil, "yn rhoi'r bai ar Satan, ac yn deyd na wnai byth eto, mi fyddai yn *all right*; ond os eiff o ymlaen fel yna, mae o 'n siwr o gael y *kick out*." Gyda ei holl ysgafnder, daeth prophwydoliaeth Wil yn ffaith cyn pen ychydig fynydau. Gwnaeth Thomas Bowen ei oreu i

gael gan Bob syrthio ar ei fai; ond ni lwyddodd, a'r un modd y gwnaeth Abel Hughes gyda'r un canlyniad. Yr oedd yn rhaid i'r swyddogion a'r eglwys wneyd eu dyledswydd; a phan oedd Abel Hughes ar ei draed yn gofyn yr arwydd i ddiarddel Bob, yr oedd llais yr hen ŵr yn grynedig, a'i eiriau yn glynu yn ei wddf. Rhoddwyd yr arwydd; ac nid oedd Bob mwy yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd. Y fynyd hono plygodd Abel Hughes ar ei liniau, ac mewn gweddi gweddïodd, os gweddïodd neb erioed. Bûm yn synu ganwaith ar ol hyn na fuasai ei weddi ar ran Bob wedi ei hateb.

Wel, a fuasai yr eglwys yn diarddel Bob pe gwybuasai y canlyniadau o hyny? Nid wyf yn tybied.

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

1 CORINTHIAID x. 13: "Ffyddlawn yw Duw yr hwn ni âd eich temtio uwchlaw yr hyn a alloch"

2 CORINTHIAID i. 8: "Ni fynem i chwi fod heb wybod, frodyr, am ein cystudd a ddaeth i ni yn Asia, bwyso arnom yn ddirfawr uwch ben ein gallu, hyd onid oeddym yn ammeu cael byw."

PA fodd y cysonir y ddwy adnod hyn â'u gilydd? Yn y naill adnod dywed Paul wrth ei gyfeillion cristionogol yn Corinth nas gadawai Duw iddynt gael eu temtio *uwchlaw yr hyn a allent;* ac y mae'r geiriau hyn i'w cymhwyso at bobl dduwiol yn gyffredinol. Ond yn y llall, mae yn adrodd i'r cystudd a ddaeth arno ef a'i frodyr yn Asia bwyso arnynt yn ddirfawr *uwch ben eu gallu.* Amlwg yw mai nid yr un peth a olygir wrth y *gallu* yn y ddau le. Yn yr adnod gyntaf cyfeirir at y cymhorth a addawodd ac a ddyry yr Arglwydd i'w bobl dan eu holl gystuddiau a'u profedigaethau; ond yn yr ail, y gallu sydd yn naturiol gan ddynion fel creaduriaid a olygir. Mae yn bosibl i ni gael ein temtio neu ein cystuddio uwchlaw ein gallu naturiol ni ein hunain, megys y cafodd yr holl ferthyron a llawer eraill, ac eto nid uwchlaw y gallu â'r hwn ein nerthir gan Dduw yn ol yr angenrhaid,—y "gras yn gymhorth cyfamserol." Nid peth anghyffredin ydyw, fod y dyn oddiallan yn llygru tra y byddo'r dyn oddimewn yn cael ei adnewyddu o ddydd i ddydd.

---

2 CORINTHIAID xii. 16: "Eithr bid, ni phwysais i arnoch, ond, gan fod yn gyfrwys, mi a'ch deliais chwi trwy ddichell."

"EITHR bid," neu, "eithr bydded felly," eich cariad chwi, ataf fi yn fwy prin na'r eiddof fi atoch chwi, rhaid i chwi, yn eglwys Corinth, dystio nad oeddwn i yn pwyso arnoch chwi am gynnaliaeth tra yn eich mysg, er y buasai yn gyfreithlawn a theg i mi wneuthur hyny; ond yn hyn fe'm cyhuddir o fod yn ddichellgar yn fy ymddygiad atoch.

Nid desgrifio y mae yr Apostol yma pa fodd yr ymddygodd yn weithredol, ond pa fodd y cyhuddid ef gan yr athrawon a ddaethent i Corinth. Yr oeddynt hwy yn awgrymu yn enllibgar ei fod yn gyfrwysddrwg yn pregethu, yn perswadio, a dal pobl drwy ddichell. Yr oedd Paul yn cydnabod ei fod ef a'i frodyr yn wir "yn perswadio dynion," ac nis gallent wneuthur yn amgen, o herwydd yr oedd "cariad Crist yn eu cymhell hwy." Ond y mae efe yn rymus yn taflu ymaith y cyhuddiad o'i fod yn gweithredu gydag achos yr efengyl oddiar gymhelliadau hunangar neu ariangar. "Ni wnaethom gam i neb; ni lygrasom neb; nid yspeiliasom neb," medd efe (pen. vii. 2). Pa beth? ebe Paul, a enillais i rywbeth mewn ystyr fydol oddiarnoch? Pan yr oeddwn gyda chwi, a oeddwn yn faich arnoch? Nac oeddwn, ac, fel y mae pethau yn bresennol, ni phwysaf arnoch eto. Er hyn, "gan fod yn gyfrwys, mi a'ch deliais chwi trwy ddichell." Felly y dywed fy nghyhuddwyr. Ho, meddynt, yr oedd efe yn cymeryd arno fod yn hollol ddiawydd am elw iddo ei hun; ond gwneyd hyny yr ydoedd er mwyn iddo yn hawddach eich cymeryd i mewn eto. Efe a wrthododd gymeryd dim iddo ei hun pan yr oedd yma, gyda'r bwriad o anfon pobl eraill i gasglu drosto pan y tybiai ei bod yn amser cyfaddas. Ond, atebai yr apostol, beth yw y ffaith? "A wnaethum i elw o honoch chwi trwy neb o'r rhai a anfonais atoch? Mi a ddeisyfais ar Titus, a chydag ef mi a anfonais frawd. A elwodd Titus ddim arnoch? onid yn yr un ysbryd y rhodiasom? onid yn yr un llwybrau?" (adn. 17, 18). Nid oes dim yn amlycach na bod Paul a'i frodyr yn hollol bell oddiwrth ymarfer twyll a rhagrith. Gallasent ardystio o flaen y byd, a cher bron y nefoedd, "Ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw yr ymddygasom yn y byd, ond yn hytrach tuag atoch chwi" (pen. i. 12)

---

# Barddoniaeth.

## EMYNAU AT WASANAETH CYFARFODYDD DIOLCHGARWCH AM Y CYNAUAF.

GAN DYFED.

"CORONI YR YDWYT Y FLWYDDYN A'TH DDAIONI."

M. 8 7.

Mae grasusau heb eu haeddu
Ar ein bwrdd o hyd yn llawn,
A chysuron yn dyferu
Ar ein llwybrau, llawenhawn:
Nid oes brinder yn ein dilyn,
Y mae môr tu cefn i'r ffrwd;
Duw sydd yn coroni 'r flwyddyn,
Ac Efe 'n bendithio 'i chnwd.

Coed y maes a gurant ddwylaw,
Bloeddiant ganu dan eu llwyth;
A fydd calon dyn yn ddystaw
Wrth fwynhâu y grasol ffrwyth?
Mae cangenau ffrwythlawn natur
Yn ymgrymu tua 'r llawr;
Ac yn dysgu i bechadur
Gofio Duw Rhagluniaeth fawr.

Nid y ddaear fu 'n cynllunio
Coron hardd y flwyddyn hir;
Cariad Dwyfol sy 'n dysgleirio
Ymhob perl o honi 'n wir;
Tyfodd gobaith blwyddyn newydd
Gyda 'r grawn, a digon yw;
Na foed ein telynau 'n llonydd,
Canwn, ac addolwn Dduw.

### DUW RHAGLUNIAETH.

M. 8.

O Ddwyfol drugareddau rhad
Deheulaw Cariad helaeth!
Nid damwain fu 'n ffrwythloni 'r wlad,
Ond bwriad Duw Rhagluniaeth.

Ni cha'dd Cyfiawnder dynu cledd
I darfu hedd dynoliaeth;
Rhyfeddwn wrth fwynhâu ein gwledd
Amynedd Duw Rhagluniaeth.

Ymlona pob creadur byw
Uwch ben y cyfryw doraeth:
Cymhellydd y cyfiawnder yw
Trugaredd Duw Rhagluniaeth.

Blagurodd dan ei Ddwyfol wedd
Ddigonedd i'n cynnaliaeth,
Am hyny canwn hyd ein bedd
Ogonedd Duw Rhagluniaeth.

Mae 'r greadigaeth oll yn fyw
Yn d'weyd yn nghlyw dynoliaeth,
Fod trugareddau uwch eu rhyw
I'w cael gan Dduw Rhagluniaeth.

Bendithion etifeddiaeth Ffydd,
Glân feusydd Iachawdwriaeth:
Ydlanau 'r nef yn llawnion fydd
Pan dderfydd ffrwyth Rhagluniaeth.

### "TAD Y TRUGAREDDAU."

M. 7 6.

Fy Nuw! tydi dy hunan
Fu 'n gwlitho ar y gwellt;
Dy gerbyd ydyw 'r daran,
A'th lwybrau ydyw 'r mellt:
Cyfiawnder mawr y bydoedd
A ddysgwyl wrth dy ddôr,
O eithaf nef y nefoedd
Hyd wastad dwfn y môr.

Os bydd anghenion lnoedd
Wrth anial gwyllt ynglŷn,
Daw yno fanna 'r nefoedd
I dori anghen dyn:
Os ceir dy wenau tirion
Ar boeth sychedig dir,
Y graig a deimla 'i chalon
Yn troi yn ffynnon glir.

Mae ysbryd yr elfenau
Yn ufudd yn dy law;
Cyflawni dy fwriadau
Wna 'r gwynt, y gwrês, a'r gwlaw;
Ni ddaw cynauaf heibio
A bendith ar ei fraich,
Os na wnei di ei wisgo
A nerth i gario 'r baich!

### LLWYBRAU DUW.

M. 8 7 4.

O Gyfoethog Dduw Rhagluniaeth!
O drugarog Geidwad dyn!
Y mae hanfod pob bodolaeth
Wrth dy enw byth ynglŷn:
Ti dy hunan
All ddigoni gwaith dy law.

Holl anghenion creadigaeth
Fuddir yn dy wên erioed;
Bywyd yn ei lawn amrywiaeth
Dyf yn ôl dy Ddwyfol droed:
Mae dy lwybrau
Yn dyferu gan fwynhâd.

Pob creadur, am ddyddanwch,
Atat ti gyfeiria 'i lef,
O fwystfilod yr anialwch
Hyd yr angel yn y nef:
Ni fu prinder
Ar dy lwybrau di erioed.

Mae cyflawnder dy ddaioni
Yn addurno 'r bryniau pell,
Nefol addurn, yn cysgodi
Swyn a bywyd gwlad sydd well:
Mae dy lwybrau
Yn ymgolli yn y nef!

### POB PETH O DDUW.

M. 6 8.

Dibynol ydyw 'r byd
Ar annibynol Dduw;
Fel baban yn ei gryd
Dan ofal Dwyfol yw:
Anwyler doeth Gynnaliwr dyn
Am beidio 'i adael iddo 'i hun.

Erioed ni welwyd gwaith
Heb weithiwr—dyna 'r drefn;
Ni fu cynauaf chwaith
Heb Dduwdod y tu cefn:
Mae cadwen holl effeithiau 'r byd
Wrth Hanfod Duw yn cydio i gyd.

Rhoed yr anffyddiwr ffol
Dragwyddol daw i'w lef;
Fe wawdia blodau 'r ddôl
Ei dwyll athrawiaeth ef:
A'r angel coll a gryna 'n syn
Wrth weled neb mor ddall â hyn.

Ar ol i'r Nefoedd roi
I'r wlad gynauaf gwŷn,
Mor ynfyd ydyw troi
I sarnu 'r doniau hyn!
O gwylia, rhag defnyddio 'r un
I gablu Duw, a damnio 'th hun!

"DIOLCH IDDO."

M. 7 4.

Arnom gweina Dwyfol Un,
Heb ei ofyn;
Mae ei ras fel ef ei hun,
Yn ddiderfyn;
Blodau 'r maes ac adar nef
Gedwir ganddo;
Ond ar ddyn mae 'i gariad Ef,
Diolch iddo!

Dysgwyl y boreuddydd wnawn
Mewn anghenion;
Ac fe dŷr âg ephah lawn
O fendithion;
Gâd y fendith ar ei ol,
Wrth fyn'd heibio;
Duw rydd eilwaith lon'd ei gol,
Diolch iddo!

Ond mae bendith gyda Duw,
Gwell na 'r cyfan;
Bendith y bendithion yw—
Duwiol anian;
Am y bara bery byth
Heb heneiddio,
Canu wnawn tra ynom chwyth,
Diolch iddo!

DAIONI DUW.

M. 11au.

Gogoniant tragwyddol i'th enw, fy Nuw,
Mae 'r byd yn dy gysgod yn bod ac yn byw;
Ni flinaist ddylamu dros feiau diri',
I gofio pechadur na chofia dydi.

Tydi sydd yn ddelwng o'r bri a'r mawrhâd,
Tydi roddodd fywyd a chynnydd i'r hâd;
Tydi o dy nefoedd addfedodd y grawn,
Tydi roddodd ddyddiau 'r cynauaf yn llawn.

O ddyfnder! eangder! haelioni dy law,
Fel môr yn ymchwyddo 'n ei adeg y daw;
Dros lif y daioni cyfeiriwn ein llef,
A nofied ein calon ei frig tua nef.

Gwyn fyd yr anghenog a gaffo dy wên,
Bydd blawd yn y celwrn, ac olew 'n y stên;
Wrth weled y gwledda a'r moli 'n gyttun,
Mae newyn yn marw o newyn ei hun!

Er maint y daioni a roddi mor hael,
Tu cefn i'th drugaredd mae digon i'w gael:
Llawenydd yw cofio, er cymaint a roed,
Fod golud y nefoedd mor fawr ag erioed.

Bechadur anhydyn, ystyria dy droed,
Duw 'r nef sy 'n gofalu am danat erioed;
Wrth fyw ar haelioni mor beraidd ei rin,
Boed gweddi 'n dy galon, a chân ar dy fin.

"LLAWN YW Y DDAEAR O'TH GYFOETH."

M. 2 8.

Llawn, llawn,
Yw 'r ddaear o dy Ddwyfol ddawn,
Ar ddiliau Nêr addoli wnawn;
Mae 'n weddus llawenhâu yn wir,
A chwyddo moliant drwy y wlad,
Haelioni 'n Tad a leinw 'n tir.

Bri, bri,
O Dduw, sydd ar dy lwybrau di,
Yn dirion nef i'n daear ni;
O'n cwmpas mewn gogoniant llawn,
Ar dy weithredoedd oll erioed,
Dy enw roed yn dyner iawn.

Mawr, mawr,
O ddydd i ddydd, o awr i awr,
Yw 'th ofal am dylwythau 'r llawr;
Mae canu diolch am dy nawdd,
I galon dyn mewn llawen hwyl
Ar uchel ŵyl yn orchwyl hawdd.

Mwy, mwy,
Na grasau 'r byd er cymaint hwy,
Yw 'r gras bwrcasodd Dwyfol glwy':
O f' enaid tlawd, os gwag dy nyth,
Ehed at Dduw, a chred ei air,
Cei ddogn a bair, cei ddigon byth!

# Bwrdd y Golygydd.

CANU CYNNULLEIDFAOL.

*Yr Ymwelydd Cerddorol.*

Gallai y bydd rhywrai yn dyweyd fod y Gymanfa Ganu Cynnulleidfäol yn gwneyd i ffwrdd â'r anghenrheidrwydd am yr ymweliadau a bleidid genym yn ein hysgrif ddiweddaf. Gyda phob dyledus barch i'r Gymanfa, yr ydym yn meiddio dyweyd ei bod yn hytrach yn gwneyd yn fwy anghenrheidiol cael rhywbeth o'r fath. O herwydd, fel y dywedasom o'r blaen, amcan mawr pwyllgorau y gwahanol gymanfäoedd ydyw dysgu tônau newyddion. Ac yr ydym eisoes wedi dyweyd beth yw effaith hyny ar ein cynnulleidfäoedd. Gan hyny, mae yr effaith hwnw yn ei gwneyd yn fwy anghenrheidiol i gael yr ymweliadau hyn. Perygl mawr ein cynnulleidfäoedd yn awr ydyw, edrych ar y rhan hon o'r gwasanaeth fel peth defodol yn unig, heb ddim pwys ynddo ond o gymaint ag y mae yn cadw yr ieuenctyd mewn gwaith, ac yn rhoddi rhyw fath o amrywiaeth yn y gwasanaeth, yr hyn sydd yn ddymunol mor bell â hyny. Ond ymhellach na hyny, rhaid cydnabod mai rhyw nifer fach sydd yn rhoddi dim pwys ar y canu.

Nid ydyw y sefyllfa yna ar y peth ond naturiol iawn oddiwrth y modd mae yn cael ei ddwyn ymlaen fel rheol. Mae cyfarfod canu cynnulleidfäol yn cael ei gyhoeddi ar noson benodol. Mae yno ychydig o bobl ieuainc yn dyfod ynghyd, ac yn treulio llawer o'r amser i ymddyddan yn ddifyr am wahanol bethau, ac yn rhoddi y gweddill o'r amser i ganu ychydig o dônau ac emynau, yn y modd mwyaf difeddwl ac arwynebol. Gallai y bydd yno un neu ddau o rai mewn ychydig oedran, ond nid ydynt hwy yn

meddwl am ddim ond cynnorthwyo a chefnogi y bobl ieuainc. Na feddylied neb ein bod yn diystyru gwaith y bobl ieuainc hyn. Na, yn hollol yn y gwrthwyneb. Dyweyd pa fodd mae pethau yn unig yr ydym, er mwyn profi beth fydd eisieu. Mae yn dda iawn i ni weled y bobl ieuainc yn gafael yn y rhan hon fel y maent; dyna sydd yn ei chadw rhag myned yn îs nag ydyw. Ac oni buasai am y canu, buasai miloedd o ieuenctyd ein heglwysi heb wneyd dim mewn unrhyw fodd gyda'r achos crefyddol, a buasent mor ddiddefnydd gydag ef â chyrff meirwon, heb fod yn gwneyd dim ond ychwanegu rhif yr eglwys. Ond am eu bod yn hoffi canu, deuant i'r cyfarfod canu yn zelog a ffyddlawn, a gwnant eu goreu ymhob cyfarfod crefyddol i ganu y tônau a'r emynau a ddaw dan sylw. Ac yn wir, nid ydym heb le cryf i gredu fod miloedd o bobl ieuainc ein heglwysi yn cael eu cadw yn aelodau trwy eu cysylltiad â'r canu yn unig. Gan hyny y mae eu gwaith yn un da, ac yn gyfryw ag a ddylai gael sylw a chefnogaeth. A dyna ydyw un rheswm mawr dros fod eisieu gwneuthur rhywbeth yn y cyfeiriad yr ydym yn sôn. Gan fod cymaint o'n pobl ieuainc, yn feibion a merched, yn ymgynnull i'r cyfarfodydd hyn, onid yw hyny yn dyweyd ar unwaith fod y cyfryw gyfarfodydd yn rhai pwysig iawn? Gan hyny, meddwn eto, nis gallwn roddi gormod o bwysigrwydd ar y *modd* y maent yn cael eu dwyn ymlaen.

Pe byddai i'r Cyfarfod Misol gymeryd sylw arbenig o hyn, a gofalu fod yr holl eglwysi yn gwneyd eu dyledswydd gyda hwy, trwy roddi y pwysigrwydd priodol arnynt, ac i'r swyddogion fod yno fel mewn cyfarfodydd eraill, a'u dechre a'u diweddu trwy ddarllen rhan o Air Duw a gweddïo,—yna byddai golwg wahanol iawn arnynt yn fuan, a delai y bobl i deimlo eu bod yn foddion gras, ac yn addoliad fel cynnulliadau eraill; a diammheu genym y byddai y ffrwyth yn doreithiog er gogoniant Duw trwy iachawdwriaeth eneidiau. Canys os ydyw caniadaeth y cysegr yn foddion o ras, paham nas gallwn ddysgwyl bendith arno fel rhanau eraill? Eithr os nad ydyw yn foddion gras, yna gwell ydyw i ni beidio ei gyflawni yn ein cyfarfodydd crefyddol o gwbl, a'i adael i'r llwyfan eisteddfodol a chyngherddol ein gwlad. Ond gan ein bod yn sicr ei fod yn foddion o ras, a lluoedd wedi cael eu bywyd trwy ei offerynoliaeth, bydded i ni roddi iddo y lle priodol, y sylw haeddiannol; a'r pwysigrwydd hwnw a'i gosoda ar unwaith yn marn y wlad ar yr un tir â rhanau eraill y gwasanaeth crefyddol. Ac fe grëai hyny ar unwaith y gagendor a ddylai fod rhwng y canu cynnulleidfäol â phob canu arall. Byddai gwahaniaeth mawr rhwng effaith yr ymwelydd cerddorol âg effaith y Gymanfa Gerddorol. Yn awr, nid yw yr holl gynnulleidfäoedd yn cael y llês sydd i'w gael oddiwrth y gymanfa. Rhyw un neu ddau o leoedd a gaiff y mwynhâd a'r budd iolldeb uniongyrchol oddiwrthi; dim ond y lleoedd y byddo yn cael ei chynnal. Nid oes ond ychydig iawn o gynnulleidfäoedd y dosbarth yn dyfod i'r gymanfa; ddim ond ychydig o'r cantorion mwyaf ffyddlawn. Mae corff y gynnulleidfa yn hollol ddisylw o'r cyfarfodydd gartref, ac o'r Gymanfa Gyffredinol. A hyny o bleser neu o lês a gaiff y cynnulleidfäoedd hyn fydd cael clywed ychydig yn canu y tônau oedd yn cael eu canu yn y gymanfa. Cânt hwythau wrando fel ar ryw adlais o'r gymanfa, ond fod yr adlais yn llawer mwy annhebyg nag ydyw adlais craig y bwlch i floedd y bugail. Ond byddai yr ymwelydd yn cael gafael ar yr holl bobl yn eu gwahanol leoedd, lle y caent gymanfa fach eu hunain, gyda chymanfa fawr os mynent bob hyn a hyn ar gylch.

Pwy a gymer hyn mewn llaw i ddechre? Pwy gaiff fod ein Josua? Rhaid iddo ymarfogi yr ydym yn gwybod. Ond ymwroled, a chredwn y daw gwêdd newydd yn fuan ar ein canu cynnulleidfäol.

CERDDOR.

---

## Y CANU ETO.

SYR,—Mae arnaf ofn y byddaf yn tramgwyddo rhai o'ch gohebwyr; ond rhydd i bawb ei lafar; a dyma fy marn ddiduedd a diragrith i,—fod llawn ddigon wedi cael ei ddyweyd ar y mater hwn eisoes yn y DRYSORFA. Ac yr wyf yn hyfach yn ysgrifenu ar hyn o beth, gan eich bod yn hysbys o honof, fy mod yn hoff o ganu; ac nid oes dim mor foddhäol genyf na gweled yr *holl* gynnulleidfa yn cydganu, na dim yn fwy annymunol genyf na gweled rhai yn dal eu llyfrau o'u blaen, â gwefusau mor seliedig â phe byddent wedi rhewi.

Ond eto yr wyf yn cwbl gredu fod gormod o amser yn cael ei dreulio gyda'r rhan hon o addoli. Mae ambell i fan lle y mae y plant ar eu penau eu hunain; nid oes yno fawr o ddim gwaith ond canu. Ewch wedi hyny i'n Cyfarfodydd Ysgolion, mae cyfarfod y cenadau bron i gyd yn siarad am y *Gymanfa Gerddorol*, y *Pwyllgor Cerddorol*, a'r *Arweinydd Cerddorol*, nes ydynt bron wedi myned yn *household words* yn ein plith. Ac y mae yn ddiogel genyf pe byddai hanner yr aidd a'r gwresogrwydd hwnw yn cael ei arferyd i gael yr ieuenctyd yn ysgrythyrwyr da, ac yn egwyddorol yn athrawiaethau crefydd, y byddai gwell golwg o lawer ar ein hysgolion nag y sydd. Mewn Cyfarfod Athrawon yn ddiweddar, pan yn gofyn i un o'r cenadau pa beth oedd maes llafur eu hysgol, yr ateb oedd, "*Dim byd ond canu.*" Ac eto mae rhywrai yn dadleu nad yw y canu yn cael digon o sylw wedi'r cwbl. Mae ar y *Cerddor* eisieu cael rhyw arolygwr cyflogedig gan y Cyfarfod Misol; a thybia efe y byddai dyfodiad swyddog awdurdodedig y Cyfarfod Misol yn ddigon o symbyliad i'r cynnulleidfäoedd barotoi ar ei gyfer; a dywed y byddai ymweliad dyn dyeithr yn fwy dylanwadol ac effeithiol na'r blaenor canu cartrefol, ïe, hyd yn nôd pe byddai yn waelach neu yn israddol mewn gallu a gwybodaeth. Mae hyn yn lled ammheus genyf, canys yr ydym yn hysbys o ddyfodiad dyeithriaid i'n mysg; a chlywsom y sylw fwy

nag unwaith fod y blaenor cartrefol yn llawer gwell ac yn cario mwy o ddylanwad ar y gynnulleidfa. Mae gan yr ymwelydd, ni a welwn, orchwyl arall tra phwysig, sef rhoddi cyfrif o'i ymweliadau bob tri mis, a chwilio yn ddyfal i gael allan alluoedd y cynnulleidfäoedd, ac ar ol hyny eu cyfarwyddo pa fodd i weithredu, a pha sut i wneyd.

Pan y darfu Joseph roddi cynghorion i Pharaoh pa fodd i wneyd yn ngwyneb y newyn mawr oedd i ddyfod ar y wlad, y gofyniad oedd, "A gawn ni ŵr fel hwn, yr hwn y mae Ysbryd Duw ynddo?" a'r ymresymiad oedd, gan fod Duw wedi peri iddo wybod hyn oll, nad oedd neb mor addas âg ef i fod yn swyddog i'r perwyl. Ond y mae yn bur ammheus genyf, pe gosodid *Cerddor* yn swyddog awdurdodedig y Cyfarfod Misol, er mor wybodus ydyw am y diffygion lawer sydd i'w cael, y byddai yn alluog i ddwyn oddiamgylch y perffeithrwydd hwnw mewn caniadaeth grefyddol ag y mae efe yn ei weled yn eisieu. Fe ddywedir i mi fod gan y Cyfarfodydd Misol lawn gormod o waith eisoes ar eu dwylaw. A chan nad oes ond ychydig o'r swyddogion eglwysig yn teimlo pwysigrwydd yr achos, os gwir a ddywed *Cerddor*, buaswn yn meddwl mai ychydig iawn o obaith felly fuasai i'r dosbarth yma bleidleisio i roi cyflog i *inspector* am fyned o gwmpas i drefnu pa sut i ganu.

Peth arall: mae cymaint o wahanol farnau ynghylch tônau. Tônau a ystyrir yn rhai campus mewn ambell i le, a gollfarnir yn y modd mwyaf diarbed gan eraill. Mae rhai yn canmawl *style* Ieuan Gwyllt, ac yn barnu ei fod ef wedi gwneyd mwy tuag at berffeithio canu cynnulleidfäol na neb; ond clywais un arall—yr hwn sydd fardd a cherddor enwog, yn dyweyd fod Ieuan wedi andwyo y canu, a gwneyd y cam mwyaf âg emynau Pant y Celyn, ac am a wn i nad ei gynghor ef a fuasai, "Cofia o ba le y syrthiaist, a gwna y gweithredoedd cyntaf." Ond beth bynag am hyny, goddefer i mi eto ddyweyd fod gormod o amser, a gormod o siarad o lawer nag y sydd yn anghenrheidiol ar y canu.

Yr eiddoch,

BRIGLWYD.

---

Y CYFARFODYDD EGLWYSIG.

BARCHEDIG SYR,—"Mi a fum ieuanc, ac yr ydwyf yn hen;" ac hwyrach fod henaint yn peri i mi, fel lliaws eraill, fod yn fwy *conservative*, i ymlynu wrth hen bethau, a rhoi y flaenoriaeth yn fy meddwl a'm tuedd i ymarferiadau yr amser gynt, yn enwedig ynglŷn â chrefydd. Ond, pa fodd bynag am hyny, wrth feddwl am hen *societies*, neu gyfarfodydd eglwysig blynyddoedd fy ieuenctyd, a'm tymmor canol-oed, i fesur mawr, a'u cymharu â'r cyfryw gyfarfodydd fel eu cedwir y rhan fynychaf yn y dyddiau hyn, mae yn rhaid i mi ddyweyd yn rhwydd a gonest, Gwell yw, neu, yn hytrach, gwell *oedd*, yr hen.

"*Society* profiad" ydoedd ac ei gelwid gynt, ac adrodd profiad oedd y peth mawr ynddi; ond yn y rhan fwyaf o *societies* yr elwyf iddynt yn awr, ni cheir ynddynt ddim profiadau crefyddol. O ba le a pha fodd y mae hyn? Rhoddid yn wastad yn y cyfarfodydd hyn le helaeth i adroddiadau o bregethau y Sabboth; ac yr wyf yn addef y ceir hyny eto ynddynt. Ond O y gwahaniaeth yn hyn! Gynt, byddai yr adroddydd yn dyweyd, "Yr oedd y peth a'r peth yn y bregeth yn fy argyhoeddi, neu, yn fy nychrynu, neu, yn fy nghysuro, neu, yn peri i mi addunedu gwelläo mwy," ac felly yn y blaen. Ond yn awr, adroddir y bregeth yn gryno iawn, y penau oll yn eu lle; a gadewir ar hyny, heb fod yr adroddydd yn cymhwyso dim o'r bregeth ato ei hun, nac yn dyweyd iddo gael dim bendith wrth ei gwrando. Pa fodd, meddaf eto, a phaham, y mae hyn?

Dichon mai un achos neu achlysur o'r dim adrodd profiad fel hyn gan yr aelodau yw, na chlywir y blaenoriaid byth yn adrodd eu profiadau eu hunain. Annogant a gwahoddant eraill i ddywedyd, ond ni roddant eu hunain esiampl o hyny. Yn hyn y maent yn debyg i'r hen offeiriad meddw a ddywedai wrth ei blwyfolion, "Gwnewch fel yr wyt yn dyweyd, nid fel yr wyf yn gwneyd." O leiaf dyma fel yr wyf fi yn cael fy mrodyr y blaenoriaid yn yr eglwysi y byddaf fi yn arfer myned iddynt fwyaf.

A oes eisieu diwygiad yn hynyma? Yr wyf yn gweled eich bod chwi, Mr. Golygydd, yn cael ysgrifau lawer eleni ar ganu mawl; ac wrth eu darllen byddaf yn ymsynio, Purion, purion! Ond a oes dim modd cael brodyr profedig i ysgrifenu, amryw o honynt, ar y cyfarfodydd eglwysig—y cyfarfodydd y mae bywyd ac enaid Methodistiaeth, i radd fawr, yn troi arnynt?—Ydwyf, yr eiddoch,

R. S. G.

---

# Y Wasg.

YR EMMANUEL, SEF, HANES BYWYD A MARWOLAETH EIN HARGLWYDD IESU GRIST. *Gan yr Anrhydeddus* T. LL. HUGHES, *Oak Hill, Ohio.*

Utica, N. Y.: T. J. Griffiths, argraffydd.

CAIFF yr awdwr ei hun egluro amcan ac amgylchiadau cyfansoddiad a chyhoeddiad y gwaith hwn:—

"Amcan yr awdwr yn y gyfrol syml hon ydyw estyn cymaint o gymhorth ag a a'l i athrawon a deiliaid yr Ysgol Sabbothol, i ddeall a phrisio hanes yr Arglwydd Iesu Grist fel y mae yn y Pedair Efengyl; a bydd a wnelo gymaint â serch y darllenydd ag â'i ddeall. Ymddangosodd y gwaith ar y cyntaf yn y ffurf o erthyglau arweiniol ar hanes teithiau a bywyd yr Arglwydd Iesu yn *Y Cyfaill o'r Hen Wlad*, pan dan olygiad y diweddar Barch. William Rowlands, D.D.

Troisant allan yn ddarllenadwy a derbyniol gan y cyhoedd y pryd hwnw; a derbyniodd yr awdwr ar y pryd, ac wedi hyny, lïaws mawr o gymhelliadau i'w cyhoeddi yn llyfr. Rhoddodd hyn yni newydd ynddo i ymgymeryd â helaethu a gwella y gwaith; a threuliodd flynyddau lawer o nosweithiau i ddarllen, chwilio, ac ysgrifenu ar y mater, yr hyn a gynnyddai yn barhâus yn ei ddyddordeb a'i hyfrydwch iddo. Gwnaed hyn oll wrth oleu canwyll, heb golli cymaint â hanner awr o amser gweithio at y gorchwyl. Bwriad cyntefig yr awdwr ydoedd, os byth y caniatâi amgylchiadau, cael cant o gopïau o'i lyfr wedi eu hargraffu, i'w cyflwyno i'w geraint a'i gyfeillion, i fod er côf am dano, ac i ateb yn lle beddfaen ar ol ei ymadawiad, heb gynnyg cymaint âg un ar werth, gan na feddai nac amser na dymuniad i fasnachu yn ei waith ei hun. Ar yr un pryd, boddlonai i ryw frawd anturiaethus a ddewisai, gyhoeddi y nifer a fynai ar ei anturiaeth ei hun. Ar y telerau hyn yr ymgymerodd y Parch. T. R. Jones dd'od â'r argraffiad hwn allan."

Mae y llyfr yn cynnwys pump ar hugain o bennodau, yn y rhai y ceir holl hanes ein Harglwydd a'n Hiachawdwr, fel ei gosodir allan gan y pedwar Efengylwr. Yr hyn a wnaeth Farrar a Geikie, a llenorion clasurol a duwinyddol eraill, mewn modd helaeth a chanmoladwy, yn y blynyddoedd hyn,—yr oedd hyny yn cael ei wneyd mewn dull byrach gan Gymro diymhongar yn yr America er ys amryw flynyddoedd bellach, oddiar ei awyddfryd ymchwiliadol ei hun, ac er mwyn gweini addysg a lles i'w gydgenedl ar wasgar yn nghyfandir mawr y Gorllewin. Heb wneuthur un ymhoniad o'r beirniad a'r ysgolaig, mae yr awdwr yn gosod o'n blaen brif bethau yr hanes rhyfeddaf oll mewn llwybr hyfforddiadol ac addysgiadol, ac felly, fel y dywed, yn estyn cymhorth i athrawon ac ysgolorion yn yr Ysgol Sabbothol, ynghyd ag i lïaws eraill na chawsant ryw lawer o fautais esboniadol. Mae y nodiadau arweiniol yn y bennod gyntaf yn efengylaidd, chwaethus, a chynnwysfawr iawn; a'r sylwadau ar y gwyrthiau yn gyffredinol, ar olygiadau a theimladau y genedl Iuddewig ynghylch y Messïah, ac ar lïaws o bethau eraill, ar wahân oddiwrth yr hanes ei hun, ond yn eglurhäol arno, sydd yn ddyddorus a medrus, ac o wir werth i'r darllenydd. Buasai yn dda genym roddi amledd o ddyfyniadau, i ddangos y gwaith ger bron; ond nis gallwn roddi ond un yn unig; ac nid am ragoriaeth y llinellau canlynol uwchlaw adranau eraill yr ydym yn eu dodi yma, ond am mai hwy sydd yn dygwydd bod o flaen ein llygaid y mynyd hwn. Maent yn dilyn yr hanes am wyrth porthi'r miloedd â'r pum' torth a'r ddau bysgodyn:—

"Wedi i bawb ddarfod bwyta, a chasglu o honynt y gweddill i fyny, prysurodd yr Iesu i anfon ei ddysgyblion i lestr, i groesi y môr yn ol i Capernaum; yn ol y Saesoneg, gorfododd hwy. Gwyddai y dysgyblion yn ddiau am siarad y dorf i'w wneyd yn frenin, a thebygol yr hoffent y cynnyg; a dyma yr achos, feddyliem, iddo eu prysuro ymaith o gyrhaedd y brofedigaeth. Eithr trôdd efe ei hun ei wyneb ffordd arall, sef tua'r mynydd, i weddïo. Wedi i'r dysgyblion rwyfo o gylch tair milldir, cododd gwynt cryf, nes peri ei bod yn flin iawn os nid yn beryglus arnynt. Dywed Marc fod yr Iesu yn eu gweled yn flin arnynt yn rhwyfo. Prin, mae yn debyg, y gallasai ei lygaid naturiol eu canfod o'r pellder yr oedd efe oddiwrthynt, er fod y lleuad agos yn llawn ar y pryd. Modd bynag, cyfeiriodd yr Iesu atynt, gan rodio ar wyneb y môr megys ar dir sych, yn nghanol y gwynt a'r tònau. Canfu y gwŷr ef o'r llestr, a thybient mai drychiolaeth ydoedd. Dywed Chrysostom fod yr Arglwydd Iesu yn raddol yn dwyn ei ddysgyblion i fwy o oleuni am dano ei hun. Yn y dymhestl y buont ynddi o'r blaen, yr oedd efe gyda hwynt; er ei fod yn cysgu ar y pryd, teimlent ei fod ef rhyngddynt â'r gwaethaf. Ond mynai iddynt beidio glynu cymaint wrth ei bresennoldeb corfforol, fel yr iddwf wrth y dderwen; a'r waith hon rhoddodd hwy yn y perygl eu hunain, fel y fam-aderyn yn gwthio ei rhai bach dros y nŷth, er eu dysgu a'u harfer i ddefnyddio eu hadenydd. Fel hyn y cryfhâi efe eu hymddiried am gymhorth yn y dyfodol. Gan fod ei waith yn rhodio ar y môr yn beth cwbl annysgwyliadwy ac annirnadwy iddynt, teimlent yn eu cyfyngder yn gwbl anobeithiol am ddim cymhorth oddiwrtho. Ond yr oedd efe wrth law erbyn taro.

Mae yn anhawdd peidio sylwi ar wêdd arwyddocäol yr amgylchiad hynod hwn. Fel yr oedd y cŵch bach ar y morlŷn tymhestlog, peryglus, felly yn fynych y mae eglwys Dduw ar fôr tymhestlog y byd, fel pe na byddai ei Duw gyda hi, nac yn gwneyd un sylw o honi. Eto y mae efe ar y bryn gerllaw, a phob amser â'i lygad arni. Mae yr Iesu ar y mynydd yn gweddïo, yn eiriol drosti; a phan y byddo gwir berygl, mae efe yn wastad gerllaw, ac yn barod i ddyweyd, 'Cymerwch gysur; myfi yw, nac ofnwch.'

"Matthew yn unig sydd yn dyfod â Phedr i'r golwg yma. 'Os tydi yw,' meddai, 'arch i mi ddyfod atat ar y dyfroedd.' Nid *os* o ammheuaeth ydyw, mae yn ddiau; buasai hyny yn fwy naturiol i Thomas nag i Pedr. *Gan* mai ti yw, a feddyliai Pedr, arch i mi ddyfod atat ti. Yr oedd ynddo gynhyrfiad cryf a dymuniad am fod gyda'r Iesu; a mynai hefyd, feddyliem, ddangos tipyn o'r arwr, i wneyd i fyny am y waedd o ddychryn ychydig yn ol. Yr un linell o nodweddiad Pedr sydd yn dyfod i'r golwg â phan y dywedodd, 'Pe rhwystrid pawb, ni'm rhwystrid i.' Mynai gael y blaen ar ei gyfeillion. Mae yn ddifyr sylwi fel yr oedd yr Iesu yn deall y dyn, yn canfod gweithrediadau ei enaid; ac yn ngoleuni yr Iesu gallwn ninnau ganfod yn bur glir. 'Tyred,'

meddai wrtho. Pe buasai yn gorchymyn iddo aros yn y llestr, gan roddi gocheliad iddo y buasai yn bur debyg o foddi os anturiai ar y dyfroedd, buasai yn llethu ysbryd ei ddysgybl, ac yn rhoddi gwrthyriad poenus i'w zêl danbaid, yr hon wedi ei phuro a fyddai yn foddion i'w gario ymlaen yn wrol gyda gwaith ei Arglwydd. Yr oedd cyflawni y gamp o rodio ar wyneb y dyfroedd yn ymddibynu yn gwbl ar ei ymddiried yn ei Arglwydd. Gwyddai yr Iesu y canlyniad, ond nid oedd wedi rhwymo ei hun am dano; dim ond rhoddi caniatâd i Pedr ddyfod os oedd yn dewis. Yr oedd gormod o hyder cnawdol yn gymysgedig â ffydd Simon. Cyhŷd ag y cadwai ei lygad yn deg ar ei Arglwydd, cerddai yn hwylus; ond pan ddechreuodd edrych ar y tònau oedd yn ymgodi ac yn rhüo o'i gwmpas yn lle ar ei Athraw, dechreuodd ofni; ac yn y màn dechreuodd suddo. Wele y dyn a fynai ddangos ei ffydd gref, a'i bod yn rhagori ar ffydd Iago ac Ioan a phawb, yn awr yn gorfod cydnabod o'u blaen oll wendid ei ffydd; a bu dda iawn iddo fod cymhorth wrth law, onidê buasai efe a'i ffydd yn fuan yn y gwaelod. Gallwn feddwl yn naturiol i'r dysgyblion gael tipyn o ddifyrwch diniwed ar draul Pedr y waith hon; ac nid ydyw yn debyg ei fod yn hoffi sôn llawer am ei gamp trwsgl ar ol hyn. Y mae'r ddolef gyffrôus, 'Arglwydd, cadw fi!' yn cael ei hateb yn y màn. Ië, mor dyner ydyw y cerydd, sef, 'Paham y petrusaist?' nid, Paham y daethost o'r llong? nid tori i lawr ei ysbryd tanbaid, ond yn hytrach ei borthi, a dangos pa fodd y gallasai gyflawni y gamp yn brydferth, er parch iddo ei hun a gogoniant ei Feistr, sef, dim ond ymddiried—dim ond gweithredu ffydd ar yr Iesu, tuag at allu sathru tònau y môr. Rhoddodd yr Iesu yn dirion gymaint â hyny o wers iddo; fel pe dywedasai, 'Cyn i ofnau afael yn dy ysbryd, yr oeddit yn rhodio y tònau; ac wedi nerthu dy ffydd yr wyt yn gallu gwneuthur hyny eto. Oni weli fod fod pob peth yn bosibl i'r hwn a gredo?' Gallem fod yn sicr mai ychydig awydd edrych o'i gwmpas oedd ar Pedr wrth gerdded yn llaw ei Feistr tua'r llong."

Mae yr olwg allanol ar y llyfr, o ran papyr, argraffwaith, a rhwymiad, yn wir dda, ac yn ganmoliaeth i'r swyddfa lle yr argreffir *Y Cyfaill* yn Utica. Cawn yn y dechre bortrëad o'r awdwr, oddiar faenargraff, lle y gwelwn Mr. Hughes yn henafgwr hybarch; ond dywed *Y Cyfaill* am dano, "Gresyn na buasai yn *steel engraving*, o wneuthuriad *artist* celfyddgar, canys teilynga yr awdwr ardeb gwell a mwy rhagorol."

Bydd yn dda genym glywed fod Yr Emmanuel o'r America yn cael ei brynu a'i ddefnyddio yn helaeth yma yn Nghymru.

—

Burial Fees in Wales: *Evidence given by Mr.* John Roberts, *Solicitor, Bangor, before a Committee of the House of Commons, Thursday, June 8th*, 1882.

Bangor: Evan Williams.

Y mae yn rhy hysbys fod llawer o glerigwyr Cymru wedi dangos eu hunain yn wrthwynebus iawn i gyfraith newydd y claddedigaethau a gafwyd trwy Mr. Osborne Morgan, ac a basiwyd ddwy flynedd yn ol, gan ei bod yn gwneuthur ymaith â'u gwasanaeth hwy os bydd teulu yr ymadawedig felly yn dymuno. Achlysurodd hyn lawer o anghydfyddiaethau, yn enwedig mewn canlyniad i'r taliadau mewn cysylltiad â chladdu yn ol y drefn newydd, a arddodid gan y gwŷr eglwysig. Dygwyd yr achos y flwyddyn hon o flaen Cyfeisteddfod yn Nhŷ y Cyffredin; ac un o'r tystion a arholwyd oedd Mr. Roberts, y cyfreithiwr hysbys yn ninas Bangor, a'r diacon medrus yn eglwys y Graig. Ac wele y tystiolaethau a roddwyd ganddo i'w cael ger ein bron yn gyflawn yn y llyfryn hwn. Mae yn rhoddi ffeithiau nodedig am drahâusder a gwrthnawsedd rhai o barchedigion eglwysyddol Môn ac Arfon; ac nis gallai dim fod yn fwy grymus yn erbyn i bethau fod fel y maent gyda golwg ar gladdu na'r pethau a ddywedir ganddo ef. Er fod yr amgylchiadau rhwystrus yn yr eisteddiad seneddol eleni wedi attal y gwelliant dysgwyliedig y tro hwn, yr ydym yn hyderus y dygir cyfraith i mewn y flwyddyn nesaf i unioni a threfnu'r talion am gladdu yn y mynwentydd, a pheri fod yr angladdau Anghydffurfiol rhagllaw yn cael eu dwyn ymlaen yn ddiddolur i geraint a chyfeillion galarus. Ac y mae yn ddilys y bydd y mynegiadau difloesgni ac anwrthwynebol a wnaed ar hyn gan Mr. Roberts yn effeithio yn fawr i beri y diwygiad a ddymunir.

Annogwn ein cyfeillion yn gyffredinol i fynu iddynt eu hunain y llyfryn hwn, a gânt am ychydig geiniogau, er mwyn iddynt feistroli cwestiwn y "*Burial Fees.*"

—

Hatling i'r Drysorfa, *sef, Caniadau Buddugol ac Eraill.* Cyflwynir yr holl elw oddiwrth y llyfr at Gapel Newydd Waterloo.

Liverpool: Foulkes ac Evans.

Fe allai fod llawer ymysg ein darllenwyr heb wybod am un *Waterloo* ond Waterloo y fuddugoliaeth fythgofiadwy gan Wellington ar Buonaparte; ac i'r cyfryw, iawn

yw hysbysu fod Waterloo y "capel newydd" y cyfeiria wynebddalen yr *Hatling* ato yn sefyll yn agos i Liverpool, nid ymhell o Bootle, lle y mae achos Methodistaidd ieuanc a gobeithiol, ac addoldŷ newydd yn cael yno yn awr ei adeiladu. Offrwm at drysorfa yr addoldŷ hwnw, fe welir, yw yr *hatling* hon. Cynnwysa bryddest fèr ar *Golliad yr Atlantic;* buddugol yn nghystadleuaeth capel Pall Mall, Tachwedd, 1873—pryddest ar *Dafydd y Bugail;* buddugol yn nghystadleuaeth capel Chatham Street, Mawrth, 1874—pryddest ar *Gwymp Jericho;* buddugol yn nghyfarfod cystadleuol capel Chatham, Mawrth, 1875, ynghyd a'r *Weddw o Nain*, a *Merch "Cae'r Melwr."* Dywedai y diweddar feirniad a bardd athrylithgar, Islwyn, ynglŷn â beirniadu un o'r pryddestau, "Bardd medrus a choeth ydyw hwn. Y mae ei gynllun yn dda, a'i holl gerdd yn farddonol. Y mae yn cyflawn haeddu y wobr." A diau y caiff pawb sydd yn hoffi barddoniaeth eu boddhâu yn hyn o waith.

Er mai yn *Hatling* yr enwir y llyfryn, rhaid rhoi mwy na hatling ac na cheiniog am dano; y pris yw swllt. Os bernir gan rywrai mai gormod yw hyny fel pris am 32 o du dalenau, boed iddynt gofio mai rhodd a fydd i'r "*drysorfa;*" trysorfa adeiladu tŷ i'r Arglwydd ymhlith eu cydgenedl yn nghanol Saeson. Cânt roddi tipyn at y capel newydd, a chael llyfr newydd yn y fargen.

Gwelir nad yw yr awdwr wedi rhoddi ei enw wrth ei waith. Gan mai cyfansoddiadau buddugol sydd yma yn benaf, ac y rhaid fod enw'r buddugwr yn hysbys i'n cyfeillion yn Liverpool, nis gallwn weled y rheswm am iddo ddal ei enw yn ol. Ond pwy bynag a fawr ddymunai wybod rhywbeth am dano, diau pe yr ymofynent â Mr. W. J. Hughes, The Elms, Claremont Road, Seaforth, y gallai efe roddi iddynt bob hysbysrwydd.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA ABERTEIFI.

AWST 1, 2, 3, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. WILLIAM WILLIAMS, Abertawe.

DYDD MAWRTH Y 1AF.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 8 o'r gloch*

I. Cymerwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Cafwyd y Cenadwriaethau canlynol:—

*O Ogledd Aberteifi:*—Pasiwyd, "Ein bod yn dymuno ar i'r Gymdeithasfa drefnu rhyw ffordd i fyned i mewn i gwestiwn y Genadaeth Gartrefol yn ei holl gysylltiadau.—THOMAS EDWARDS, *Ysg.*

*O Sir Gaerfyrddin:*—Mewn Pwyllgor o Flaenoriaid Sir Gaerfyrddin, yr hwn a alwyd ynghyd gan y Cyfarfod Misol i ystyried sefyllfa y casgliad at Drysorfa y Gweinidogion yn y Sir, a gynnaliwyd yn Llandeilo, Gorphenaf 25ain, 1882, penderfynwyd anfon i Aberteifi i'r Gymdeithasfa i hysbysu fod £1000 o'r £1400 a ddysgwylir o Sir Gaerfyrddin yn ddiogel mewn llaw, a bod mesurau wedi eu trefnu i sicrhâu'r gweddill yn ddioed. Hyderir fod llawer o'r gweddill wedi ei gasglu, ond o herwydd esgeulusdod heb ei anfon i mewn.—THOMAS JAMES, *Ysg.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—Yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd yn Maerdŷ, Gorphenaf 26ain, 1882, penderfynwyd: "Ein bod yn amlygu i'r Gymdeithasfa ein barn a'n dymuniad na byddo i destynau yr Arholiad Cymdeithasfäol fod yr un a thestynau yr Arholiad Athrofäol am y flwyddyn."—W. J. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Penderfynwyd ein bod yn cyttuno â'r cais o Ddwyrain Morganwg o berthynas i destynau yr Arholiad Cymdeithasfäol.

IV. Cymerwyd i ystyriaeth y Cenadwriaethau o'r Gymanfa Gyffredinol:—

1. *Y genadwri o berthynas i'r Achos Cenadol:*—Teimlir yn ddiolchgar am yr ymdrech ychwanegol a wnaed y flwyddyn ddiweddaf i gyfarfod â threuliadau cynnyddol y Gymdeithas, ond gan fod eto lawer o'n cynnulleidfäoedd heb wneyd ond ychydig at yr Achos Cenadol, a rhai heb wneuthur dim, ein bod, er mwyn dwyshâu yr ysbryd cenadol yn ein heglwysi,—(1) Yn dymuno galw sylw at y 6ed o Reolau y Gymdeithas, wrth yr hon y trefnir "Fod y ddau Gyfarwyddwr Sirol, gydag Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, a Thrysorydd ac Ysgrifenydd Sirol y Genadaeth, i fod ymhob Sir neu Gyfarfod Misol yn Gyfeisteddfod i ofalu am yr Achos Cenadol, gwneuthur trefniadau tuag at gynnal cyfarfodydd, ac i arfer pob moddion a farner yn briodol er cynnyrchu teimlad a gweithgarwch o blaid yr achos cenadol.—(2) Ein bod yn annog fod y Cyfeisteddfod hwn yn gofalu ar fod y Genadaeth Dramor yn cael ei dwyn yn effeithiol bob blwyddyn ger bron pob cynnulleidfa fyddo mewn cysylltiad â'r Cyfarfod Misol, naill ai trwy gynnal Cyfarfod Cenadol cyhoeddus, neu trwy Bregethau Cenadol ar Sabboth penodedig, neu—gan fod yn anmhosibl i'r Ysgrifenydd Cenadol ymweled yn flynyddol â phob lle—trwy benodi brawd i ymweled â dosbarth neillduol neu ran o wlad i ddadleu hawliau yr achos, a'n bod yn

dymuno ar fod i adroddiad gael ei ddwyn i'r Gymanfa Gyffredinol, trwy y Cyfeisteddfod Gweithiol, o'r hyn fydd yn cael ei wneuthur ymhob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth.—(3) Er mwyn sicrhâu dyddordeb a chydweithrediad y gwragedd, y merched ieuainc, a'r plant gyda'r Achos Cenadol, ein bod yn anneg ar fod i Gangen-gymdeithas y Merched gael ei sefydlu ymhob cymydogaeth.—(4) Ein bod yn dymuno ar i'r Cyfeisteddfod hwn ymhob Cyfarfod Misol drefnu i ddwyn y Cylchgrawn Cenadol, NEWYDDION DA, i sylw, ac yn ymdrechu sicrhâu lledaeniad helaeth iddo, yn gystal â'r papyr achlysurol, *Glad Tidings*, sydd yn rhoddi yn yr iaith Saesoneg hysbysrwydd cryno am waith ein Cenadaeth.

**Annogwyd ar fod i'r holl Gyfarfodydd Misol dalu sylw arbenig i'r penderfyniadau uchod, a gwneuthur trefniadau i'w cario allan yn effeithiol.**

2. *Gyda golwg ar ledaeniad Cyhoeddiadau y Cyfundeb:*—Derbyniwyd a chymeradwywyd Adroddiad Pwyllgor y Llyfrau. Yr Adroddiad hwnw, ymysg pethau eraill, a gynnwysai yr adran ganlynol :—"Hysbysodd yr Archwilwyr i Gyfrifon y ddwy DRYSORFA a'r *Treasury*, eu bod wedi cael y cyfan yn gywir. Penderfynwyd, ein bod yn llawenhâu yn yr ychwanegiad sydd wedi bod yn nghylchrediad y DRYSORFA y flwyddyn ddiweddaf, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa, ynghyd a'r Cyfarfodydd Misol, i wneuthur pob ymdrech er sicrhâu i'r Cyhoeddiad hwn, ynghyd a'r Cyhoeddiadau eraill, *Trysorfa'r Plant a'r Treasury*, dderbyniad helaethach ymhob man, er budd ysbrydol ein cynnulleidfaoedd, ac er eu dwyn i gydnabyddiaeth helaethach a chydymdeimlad mwy llwyr â symudiadau y Cyfundeb."

**Rhoddwyd hefyd annogaethau pellach i ymdrech adnewyddol yn hyn.**

3. *Y genadwri o Lundain.*—Derbyniwyd cenadwri o Lundain, yn dymuno ar yr eglwysi yn y wlad i beidio derbyn personau yn aelodau eglwysig o Lundain a lleoedd eraill heb fod Tocynau Aelodaeth ganddynt. Mewn atebiad i'r genadwri hon, penderfynwyd,—"Ein bod yn dymuno cyflwyno i'r ddwy Gymdeithasfa, yn y Dehau a'r Gogledd, y priodoldeb o alw sylw ein Cyfarfodydd Misol a thrwyddynt hwy swyddogion ein heglwys yn gyffredinol, at yr anghenrheidrwydd o fod yn ofalus am gadw at y Rheol sydd genym yn ein *Cyffes Ffydd*, na byddo unrhyw aelod pan yn symud o un eglwys i'r llall yn cael derbyniad i aelodaeth yn yr eglwys y ceisir ymuno â hi, oddieithr fod ganddo y tocyn arferol fel prawf o'i aelodaeth. Hefyd, dymunir cyflwyno i sylw y ddwy Gymdeithasfa y priodoldeb o gymeryd i ystyriaeth,—Oni fyddai yn ddoeth, yn ngwyneb yr anhawsdra a deimlir gan lawer o'n gwrandäwyr o deimlad gwylaidd i dori trwodd i ymddangos yn y Cyfarfodydd Eglwysig, ac yno i ddywedyd eu teimladau a'u hawydd i fod yn aelodau, i drefnu rhyw foddion i'r cyfryw rai gael cyfleusdra i siarad o barth i hyn â'r swyddogion ar eu penau eu hunain?"

Dangoswyd y pwys ar fod yr annogaeth yn y rhan gyntaf o'r genadwri uchod yn cael ei chario allan, hyd y byddo modd, ac hefyd fod yr eglwysi yn y wlad yn gofalu na byddo aelodau yn symud i Lundain a lleoedd poblogaidd eraill heb docynau, ac anfon hysbysrwydd i swyddogion yr eglwysi y byddont yn bwriadu symud iddynt, yn ol y drefn y penderfynwyd arni gan y Gymanfa Gyffredinol er ys rhai blynyddau yn ol.

**Gadawyd yr ail ran i ystyriaeth pellach, a hyderid na bydd ein Gweinidogion a'n Blaenoriaid yn ol mewn doethineb a gofal yn ngwyneb amgylchiadau o'r fath y cyfeirir atynt.**

4. *Codi Pregethwyr.*—Bu ymgynghoriad o berthynas i gael cynllun unffurf rhwng De a Gogledd i godi Pregethwyr. Ynglŷn â hyn, ar gynnygiad y Parch. Griffith Ellis, Bootle, ac eiliad y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth, penderfynwyd, "Ein bod yn cyflwyno y mater i sylw Cymdeithasfa Chwarterol y De, ac yn dymuno ar y ddwy Gymdeithasfa, wedi rhoddi ystyriaeth bwyllog i'r mater, i nodi tri o frodyr o'u mysg i gyfarfod â'u gilydd i gyd-ystyried y Rheolau y penderfynir arnynt gan y naill a'r llall, ac i gyflwyno Adroddiad i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf."

**Ar y genadwri uchod penderfynwyd ein bod yn cymeryd y mater i ystyriaeth, a'n bod yn penodi brodyr yn Gyfeisteddfod i gynnyg cynllun i'r Gymdeithasfa, fel yr ydys wedi gwneyd yn y Gogledd. Enwir brodyr i gyfansoddi y Cyfeisteddfod, a phenodir cynnullydd, yn y Gymdeithasfa nesaf.**

5. Darllenwyd Penderfyniad y Gymanfa Gyffredinol o berthynas i'r *Charitable Trusts Incorporation Act*, sef mai gwell, ar hyn o bryd, yw gadael y mater hwn fel y mae, hyd nes y ceir eglurhâd pellach.

V. Darllenwyd y llythyr canlynol oddiwrth yr Hybarch William Evans, Tonyrefail, mewn atebiad i'r llythyr a anfonwyd ato gan y Llywydd; a pharodd y darlleniad o hono hyfrydwch nid bychan :

Caercurlas, Tonyrefail,
Llantrisant, Mehefin 26ain, 1882.

ANWYL FRAWD,—Mae fy meddyliau yn aflonydd wedi derbyn y fath lythyr brawdol oddiwrth y Gymdeithasfa, yn cydymdeimlo â'm henaint a'r llesgedd yr wyf ynddo yn bresennol, a minnau ddim cymaint â rhoddi cydnabyddiaeth fy mod wedi derbyn y fath garedigrwydd oddiwrth fy anwyl frodyr yn fy henaint a'm heiddilwch. Rhydd i mi ddywedyd, fod y cyfryw lythyr wedi rhoddi i mi londer nid bychan mewn tir mor adfeiliedig ac eiddil. Nid wyf yn ymryson, ond nid heb deimlo henaint a methiant yn bethau

blin. -Y lle yr wyf yn cartrefu fwyaf yn ddiweddar yw 1 Cor. x. 31: "Pa un bynag gan hyny ai bwyta ai yfed, ai beth bynag a wneloch, gwnewch bob peth er gogoniant i Dduw. Byddwch ddiachos tramgwydd i'r Iuddewon ac i'r Cenedloedd hefyd, ac i eglwys Dduw"—dyna bawb yn y byd. "Megys yr ydwyf finnau yn rhyngu bodd i bawb ymhob peth, heb geisio fy llesâd fy hun, ond llesâd llaweroedd, fel y byddont hwy gadwedig."—1 Cor. x. 31, 32, 33. Yr wyf yn eiddigeddu at grefydd yr Apostol.

Anwyl Frawd, nid ydwyf yn ewyllysio eich blino â llïaws o ddywediadau heb fod ynddynt fawr, neu ddim, o sylwedd.—Ydwyf, anwyl frawd, yr eiddoch yn y rhwymau goreu, gan ddymuno rhan yn eich gweddïau taeraf.

WILLIAM EVANS.

Rev. Wm. Williams,
Swansea.

VI. Penderfynwyd fod diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno, trwy lythyr, i Syr Pryse Pryse, Gogerddan, am ei haelfrydedd yn trosglwyddo capel Tanygroes, a'r tir perthynol iddo, yn rhodd i'r Cyfundeb.

VII. Galwodd y Llywydd sylw at Draethawd y Parch. Ezekiel Thomas, ar "Gyfiawnhâd trwy Ffydd," a hyderai y byddai yn cael lledaeniad helaeth.

VIII. Galwodd y Parch. D. Morgan, Penllwyn, sylw at y ffaith fod yr Ystadegau am 1881 yn dangos cryn leihâd yn aelodau yr Ysgol Sabbothol mewn amryw Siroedd, a phenderfynwyd fel y canlyn: —Wrth ystyried fod nifer ein gwrandäwyr sydd heb fod yn ddeiliaid o'r Ysgol Sabbothol yn cynnyddu yn ddirfawr, dymunem alw sylw pob Cyfarfod Misol at hyn, ac ar iddynt drefnu rhyw foddion i godi yr Ysgol Sabbothol i fwy o *sylw*, *dylanwad*, ac *effeithiolrwydd*, mewn cysylltiad â'n holl gynnulleidfäoedd, fel y byddo *cynnydd*, ac nid *lleihâd*, yn y blynyddoedd dyfodol.

IX. Penodwyd Cyfeisteddfod i enwi brodyr i'w cynnyg i Gyfarfod y Cynnrychiolwyr i'w hethol i'r Swyddau canlynol: (1) I fod yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn ddyfodol. (2) I fod yn Ysgrifenydd yr Athrofa. (3) I fod yn Arholydd yr Athrofa. (4) I fod yn Drysoryddion y Gymdeithasfa, Trysorfa y Gweinidogion, y Genadaeth Gartrefol, a'r Athrofa.

*Cyfarfod y Cynnrychiolwyr, am 6 o'r gloch.*

Yn y cyfarfod hwn gwnaethpwyd yr etholiadau canlynol:—

1. Y Parch. George Williams, Llysyfran, i fod yn Llywydd am y flwyddyn ddyfodol.—2. Y Parch. William James, Aberdâr, i fod yn Ysgrifenydd yr Athrofa, yn lle y Parch. T. James, M.A., Llanelli, yr hwn sydd wedi ymddiswyddo.—3. Y Parch. Llewelyn Edwards, M.A., Aberystwyth, i fod yn Arholydd yr Athrofa, yn lle Mr. T. Powell, M.A., Bootle.—4. Ail-etholwyd y brodyr canlynol:—(1) I fod yn Drysorydd y Gymdeithasfa a Thrysorfa y Gweinidogion: Mr. D. Jenkin Davies, Aberystwyth. (2) I fod yn Drysorydd y Genadaeth Gartrefol: Mr. D. C. Roberts, Aberystwyth. (3) I fod yn Drysoryddion yr Athrofa: Mri. H. Lloyd Harries, Cefnydre, ac Edward Davies, Llandinam.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 7 o'r gloch.*

I. Trysorfa y Gweinidogion:

Cafwyd adroddiad am yr ymdrech i orphen y Casgliad i gwrdd â chynnygiad Mr. Davies, Llandinam; ac amlygwyd fod y rhan fwyaf o'r Siroedd yn ymyl cwblhâu eu cyfranau, a bod y gweddill yn benderfynol o wneyd yr un modd. Teimlid llawenydd mawr am hyn, ac yn ddiolchgar iawn i'r holl frawdoliaeth am eu cydweithrediad calonog ac haelfrydig gyda'r achos hwn, ac yn neillduol i'r foneddiges garedig, Mrs. Davies, Varteg, Mynwy, am ei rhodd o £110 at y Drysorfa. Gorchymynwyd i'r Ysgrifenydd gyflwyno diolchgarwch y Gymdeithasfa iddi.—Hysbyswyd y rhaid i'r holl arian fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn y 15fed o Fedi nesaf. —Yn y Gymdeithasfa nesaf cyflwynir Adroddiad, a phenodir Ymddiriedolwyr i'r Gronfa.

II. Trefnwyd Gwasanaeth yr Ordeinio.

III. Cafwyd ymdriniaeth ar amryw faterion perthynol i Gronfa yr Athrofa, yn ol yr adroddiad cyffredinol oedd wedi dyfod i law.

DYDD MERCHER, YR 21ain.

Cynnaliwyd Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid ar wahan, am 8 o'r gloch.

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr, ymddyddanwyd â'r brodyr oedd i gael eu hordeinio, gyda golwg ar eu crefydd bersonol a'u cysylltiad â gwaith mawr y weinidogaeth.

*Cyfarfod yr Ordeinio, am 9 30 o'r gloch.*

Yn y Cyfarfod hwn neillduwyd y brodyr canlynol i gyflawn waith y weinidogaeth: D. Jones, Brynaman; James Morris, Llansawel; E. M. Rees, Gelli; D. M. Jones, Treherbert; E. Griffiths, Llantrisant; D. J. Lewis, Merthyr; D. Richards, Milford; a W. Jenkyn Jones, Ceinewydd, yr hwn oedd yn cael ei neillduo i fyned allan yn Genadwr i Lydaw. Dechreuwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. T.

Job, Conwyl; darllenwyd y rhanau arferol o'r Gair, a gweddïwyd gan y Parch. D. Evans, M.A., Gelligaer. Gofynwyd am reoleidd-dra y dewisiad gan y Llywydd; ac atebwyd yn gadarnhäol gan Mr. W. Griffiths, Rock. Traddodwyd yr anerchiad ar Natur Eglwys gan y Parch. J. Cynddylan Jones. Gofynwyd y cwestiynau o'r *Cyffes Ffydd* gan y Parch. D. Saunders. Yna cafwyd arwydd y Gymdeithasfa eu bod yn dewis y brodyr hyn i weini y Sacramentau Rhoddwyd y Cynghor gan y Parch. E. Matthews. Yna galwyd ar Mr. W. Jenkyn Jones i arwyddo y dadganiad gofynedig gan y Cenadon cyn myned allan i'r maes cenadol. Gorphenwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. Dr. Thomas.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Blaenau Gwent, Hydref 10, 11, 12. Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i fod am 6 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 10fed.

II. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid :—

1. Diolchwyd i'r Ysgrifenydd, ac etholwyd Mr. John Jones, Llanelli, Brycheiniog, yn Ysgrifenydd am y flwyddyn ddyfodol. 2. Fod y Cyfarfod hwn yn llawenhâu wrth glywed hanes Mr. Lewis, Bangor, am y Genadaeth yn Cassia, ac yn dymuno ar i'r Gymanfa roddi annogaeth i'r Cyfarfodydd Misol i roddi gwahoddiad iddo ymweled â gwahanol ranau y wlad. 3. Pwnc Cyfarfod y Blaenoriaid yn y Gymdeithasfa nesaf: "Pa beth a ellir ei wneyd tuag at wneyd Gweinidogaeth yr Efengyl yn fwy effeithiol?" — HOWELL DAVIES, *Cadeirydd;* R. J. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

III. Galwodd y Llywydd sylw at ein dyledswydd i ymostwng ger bron yr Arglwydd yn ngwyneb sefyllfa ddifrifol pethau yn yr Iwerddon a'r Aipht, ac mewn cysylltiad â'r tywydd a'r cnydau; a phenderfynwyd fod cyfarfodydd o ymostyngiad i'w cynnal trwy Siroedd y De, fel y mae ein brodyr yn y Gogledd yn gwneyd, a'r yr 16eg, neu'r 17eg, o'r mis hwn.

IV. Galwyd sylw gan y Parch. T. Levi at lyfrau a thraethodau gwerthfawr Cymdeithas y Traethodau Crefyddol; a rhoddodd esiamplau tarawiadol o'r daioni mawr y mae'r Gymdeithas ragorol hon wedi ei wneuthur, gan annog yr eglwysi mewn cysylltiad â Chymdeithasau Llenyddol, &c., i wneyd defnydd o'r manteision a gynnygir ganddi.

V. Rhoddwyd adroddiad dyddorol am agwedd yr Achos yn Nehau Aberteifi gan Mr. James James, Rhiwbwys, a'r Parchn. J. Jones, Ceinewydd, ac E. Phillips, Castellnewydd, yn dangos gwêdd lewyrchus ar bethau yn allanol, ond mai ein hanghen mawr yw, ar i'r oes ieuainc gael teimlo y pwerau a deimlwyd yn amser ein tadau, ac a deimlwyd gan lawer sydd yn awr yn fyw.

VI. Trefnwyd i'r Arholiad Cymdeithasfaol y flwyddyn hon gael ei gynnal yn Tredegar, ar y 9fed a'r 10fed o Hydref, yr eisteddiad cyntaf i fod am 6 o'r gloch dydd Llun y 9fed.

*Cyfeisteddfod yr Athrofa, am* 3 *o'r gloch.*

I. Darllenwyd yr Adroddiad canlynol o'r Cyfeisteddfod a gyfarfu yn Nhrefecca, Mehefin yr 21ain a'r 22ain :—

1. Archwiliwyd y Treuliadau am yr hanner blwyddyn, yn cyrhaedd y swm o £35 17s. 4c. a phasiwyd hwynt. Hefyd y swm o £7 10s. 0c. am *Stationery*, Rhwymo Llyfrau, &c. —2. Derbyniwyd Adroddiad y *Property Committee.*—3. Penderfynwyd fod i'r Ysgrifenydd alw sylw Cyfarfod Misol Dwyrain Morganwg a Brycheiniog at waith Mr. Lewis Davies a Mr. J. R. Hughes yn ymadael o'r Athrofa cyn eu hamser.—4. Er mwyn arbed afreoleidddra yn ol llaw, penderfynwyd, fod galwadau gan eglwysi i efrydwyr ddyfod yn Fugeiliaid arnynt, cyn terfyniad eu hamser yn yr Athrofa, i gael eu gwneyd trwy ymgynghoriad â'r Llywydd ac â'r Cyfarfodydd Misol y byddo y cyfryw efrydwyr yn perthyn iddynt. —5. Fod Mr. Daniel James a Mr. R. J. Rhys yn cael eu rhyddhâu i gymeryd gofal eglwysi.—6. Hysbyswyd fod Mri. John Williams, John Owen, Richard Williams, William Williams, Pontrhydyfen, William Williams, Rhymney, a D. Thomas, yn ymadael, wedi gorphen eu hamser, y cyntaf wedi derbyn gwahoddiad i fod yn weinidog ar eglwys Seisonig Nantymoel.—7. Fod £2 y flwyddyn yn cael eu talu i'r Is-Lyfrgellydd.—8. Fod yr ymgeiswyr canlynol yn cael derbyniad i'r Athrofa: Frederick Herapath, Jos. Jenkins, Phillip Jones, John Griffiths, a David Rees. —9. Gan fod dau ymgeisydd eraill wedi methu bod yn bresennol trwy afiechyd, penderfynwyd i'r Arholwyr drefnu cyfleusdra i'w harholi, a dwyn eu hadroddiad i Gymdeithasfa Awst.—10. Fod ymgeiswyr na byddont yn deall Cymraeg i gymeryd Euclid yn lle y Gymraeg.—11. Rhoddodd Adroddiad yr Athrawon am *Attendance* yr efrydwyr i'w dosbarthiadau, &c., foddhâd mawr.—12. Penodwyd Mri. John Jones, a Rhys Davies, i archwilio Cyfrifon y Trysoryddion. —13. Hysbysodd y Parch. Rees Phillips, Aberafon, fod adroddiad o'r holl arian a dderbyniwyd gan Mr. Matthews at y Gronfa yn awr yn barod i'w argraffu.—14. Derbyniwyd adroddiad Mr. Jones Parry o'r cyfrifon hyd 1880, a phenderfynwyd ei fod i'w argraffu.—15. Fod y Trysoryddion i gyhoeddi adroddiad o'r cyfrifon o Mehefin, 1880, hyd Mehefin, 1882. Hefyd, Adroddiad o'r holl *Investments.*—16. Y Cyfeisteddfod i gyfarfod Nadolig, dydd Iau, Rhagfyr yr 21ain, am 11eg yn y boreu.

—17. Fod y Trysoryddion yn cael eu hawdurdodi i *Yswirio* holl feddianau yr Athrofa. —18. Fod y Parch. E. Matthews i roddi Anerchiad i'r Efrydwyr yn Mehefin 1883.—GEORGE WILLIAMS. *Cadeirydd;* T. M. GREEN, *Ysgrifenydd.*

D.S.—Nid yw yr uchod ond Adroddiad talfyredig.

Penderfynwyd :—1. Fod yr adroddiad yn cael ei dderbyn.—2. Rhoddodd y Trysorydd adroddiad o werth cyflawn meddiannau yr Athrofa; ac ar ol peth ymddyddan penderfynwyd ein bod wedi cael adroddiad o'r cyfraniadau at y Gronfa, yn dadgan ein boddlonrwydd hollol yn ngwyneb *Statement* y Trysorydd gyda golwg ar werth presennol y Gronfa, ac yn awdurdodi yr Ysgrifenydd i wneuthur y cyfryw gyfnewidiadau yn yr adroddiad ag a fyddo yn cynwys *statement* cyflawn o'r holl *investments.*—3. Penderfynwyd fod y Trysorydd, Dr. Jones, a Mri. J. Jones, Merthyr, a D. Lloyd, Aberystwyth, i fod yn Is-gyfeisteddfod i ystyried y gydnabyddiaeth ddyledus i'r brodyr sydd wedi parotoi yr adroddiad. 4. Fod y Trysorydd yn cael ei awdurdodi i dalu am argraffu yr adroddiad, yn ol y cyttundeb, ynghyd a'r draul o wneuthur y cyfnewidiadau —5. Fod y Trysoryddion yn cael eu hawdurdodi i gael *Mortgage Deed* ar y meddiannau, Gweithredoedd pa rai sydd yn eu llaw.

II. Yn Nghyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol mabwysiadwyd y penderfyniadau canlynol :—

Wedi cael ar ddeall, er fod y Casgliadau eleni wedi ychwanegu, eto fod cyfanswm y derbyniadau yn llai na'r treuliadau, cydolygwyd fod yn anghenrheidiol amcanu at dori yr hugan yn ol y brethyn, trwy ostwng rhyw gymaint, er mor anhawdd, ar y *grants* i'r amrywiol orsafoedd. Penderfynwyd fod Aberafon i gael £15 os bydd yno weinidog, a £10 os heb yr un, Aberfan £12, Abergavenny £20, Abertillery £10, Begelley, &c., £27 10s., Blaina, £12 10s., Blaenrhondda £12, Brynmawr £17 10s., Brilley ac Eardisley, £20, at Ysgol Ddyddiol £10, Burnett's Hill £22 10s., Neath £25, Cwmogwr £20, Dowlais £25, Earlswood £5, Ebbw Vale a Beaufort £30, Fardre £5, Farteg £8, Garn Fach £12, Gilead a Wallaston, &c., £12 10s., Gower Road £5, Llantrisant £25, Llangenech £8, Llandrindod £40, Llandysul £20, Middlesborough £30, Stockton £25, New Radnor £8, New Milford £7 10s, New Tredegar £5, Bargoed £15, North Risca a Nazareth £25, Pandy £5, Penarth £20, Penybont-ar-Ogwy £35, Pontypool £25, Pontypridd £20, Porthcawl £10, Penygroes £7 10s.. Roath £20, Tredegar £15, Tenby £17 10s., Trimsaran £18, Tynswydd £5, Ysbytty £15, Waunifor a New Inn £20, Gelli £17 10s., Cwmcorwg £5, Gilfach-goch £12. Mae'r lleihâd oddeutu £141; a hyderir y bydd i'r Siroedd, yn ol addewid amryw gyfeillion, ychwanegu eleni eto yn eu casgliadau, ac felly galluogir y Gymdeithas i gyfarfod â threuliadau y flwyddyn, a dileu rhyw gymaint ar y ddyled drom sydd yn attalfa i'w symudiad llwyddiannus yn y blaen. Penderfynwyd cyflwyno sefyllfa bresennol yr achos yn Stockton a Middlesborough i ystyriaeth pellach cyfeillion Gogledd Aberteifi, ac iddynt hwythau ddwyn eu golygiad i'r Gymdeithasfa nesaf, gyda golwg ar y dull doethaf i ddefnyddio'r *grants* yn y dyfodol yn y ddau le. Rhoddwyd annogaeth i'r cyfeillion sydd wedi cychwyn achos Seisonig newydd yn Mountain Ash, ymlwybro rhagddynt goreu gallont, yn y gobaith y daw sefyllfa y Genadaeth cyn bo hir y fath fel y gellir estyn iddynt gynnorthwy.—D. T. EVANS, *Ysg.*]

## DYDD IAU, Y 3YDD.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Cadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod yr Athrofa.

Ynglŷn â hyn penderfynwyd fod y brodyr sydd wedi parotoi yr Adroddiad yn cael eu cydnabod fel y canlyn :—Y Parch Rees Phillips, Aberafon, £15; Y Parch. W. Jones, Cendl, £5; Mr. Jones Parry, Abertillery, £10.

III. Cadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.

IV. Anerchwyd y cyfarfod gan Isaac, gŵr ieuanc o Persia, yr hwn sydd wedi dyfod drosodd i'r wlad hon drwy lawer o anhawsderau er mwyn cael addysg, er ei alluogi i fod yn genad dros Grist ymhlith ei genedl ei hun; a chan Mr. W. Jenkyn Jones, yr hwn sydd yn myned allan yn ddioed i lafurio ymhlith y Llydawiaid; a dadganwyd dymuniad am i'r Arglwydd eu hamddiffyn a'u llwyddo.

V. Gwnaethpwyd sylwadau rhagorol gan y Llywydd, a chan Dr. Thomas a Dr. Hughes, ar ein dyledswydd i ymostwng ger bron yr Arglwydd yn ngwyneb sefyllfa ddifrifol pethau y dyddiau hyn, yn unol â'r penderfyniad a fabwysiadwyd y dydd blaenorol.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

### TREFN Y MODDION CYHOEDDUS.

Nos Fawrth, Awst 1af, am 7 o'r gloch, yn y Tabernacl, dechreuodd y Parch. T. Evans, Penycae, a phregethodd y Parchn. D. Evans, M.A., Gelligaer, a D. Saunders, Abertawe; ac yn Sïon (capel y Bedyddwyr), yn Saesonaeg, pregethodd y Parch. J. R. Owen, Penfro, a J. Cynddylan Jones, Caerdydd.

Prydnawn Mercher, am 3 o'r gloch, ar y maes, dehcreuodd y Parch. E. David, Pontypridd, a phregethodd y Parchn. D. Saun-

ders a Dr. Hughes, Liverpool. Nos Fercher, am 7, yn y Tabernacl, dechreuodd y Parch. T. Phillips, Mountain Ash, a phregethodd y Parchn. J. Cynddylan Jones ac Edward Matthews. Yr un amser, yn Bethania (Bedyddwyr), dechreuodd y Parch. T. Blackwell, Blaenau, a phregethodd y Parchn. T. E. Edwards, Rhymni, a Dr. Harris Jones, Trefecca; ac yn nghapel Hope (Annibynwyr), yn Saesoneg, dechreuodd y Parch. T. M. Green, Casnewydd, a phregethodd y Parch. W. Williams, Abertawe. Ar yr un amser cafwyd pregethau yn Llandudoch, Llechryd, a Blaenanerch, gan y Parchn. Dr. O. Thomas a Dr. Hughes, T. Levi, W. Jenkins, M.A. (Tyddewi), M. Thomas, Resolven, a J. M. Thomas, Caerdydd.

Dydd Iau, ar y maes, am 6 yn y bore, dechreuodd y Parch. T. Phillips, Siloh, a phregethodd y Parchn. W. James, Aberdâr, a R. Jones, Treherbert. Am 10, dechreuodd y Parch. T. Job, Conwil, a phregethodd y Parchn. E. Matthews, T. Evans, Merthyr (yn Saesoneg), a Dr. Thomas. Am 2, dechreuodd y Parch. D. Williams, Trecastell, a phregethodd y Parch. W. Williams, Abertawe, a Dr. Harris Jones. Am 6, dechreuodd y Parch. J. Watkins, Gerwydd, a phregethodd y Parchn. Dr. Hughes a Dr. Thomas; ac yn y Tabernacle (Saesoneg), y Parch. J. Cynddylan Jones.

---

## CYMDEITHASFA PWLLHELI.

AWST 23, 24, a'r 25AIN, 1882.

---

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

---

DYDD MERCHER, AWST 23AIN.

*Cyfeisteddfod Gyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyn Cenadwriaethau o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau. (Yr oedd y rhan fwyaf o'r Cenadwriaethau yn awgrymu gwelliannau yn y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr, a'r Rheolau er dewis Gweinidogion ar Eglwysi, y rhai a welir mewn ffurf ddiwygiedig ymhellach ymlaen. Gadewir hwynt allan gan brinder lle.)

III. Hysbyswyd gan y cynnrychiolwyr o Sir Fôn o berthynas i'r Achos Cymreig yn Dublin, fod anghen am gapel newydd yno, o herwydd fod yr heol yn yr hon y mae y capel presennol erbyn hyn yn un anaddas, am ei bod wedi myned yn heol isel ei chymeriad. Tybiai y brodyr yn Dublin y gallent gael lle gwell ond iddynt gael addewid am gymhorth tuag at ddwyn y draul; ac er fod yr achos yn Dublin dan arolygiaeth Sir Fôn, eto am nad oedd yn rhan o honi, dymunent hwy yn Môn gyflwyno yr achos i sylw y Gymdeithasfa. Penodwyd nifer o frodyr yn ychwanegol at y rhai o aelodau Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol ag oeddent yn bresennol, i ystyried yr achos, ac i ddwyn rhyw gynnygiad arno i'r Gymdeithasfa hon.

IV. Cymeradwywyd, fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu tir perthynol i Gapel y Fron, Dinbych.

V. Galwyd sylw gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., at yr anghyfleusdra a brofir ynglŷn â'r drefn bresennol o gynnal cyfarfodydd y Gymdeithasfa, ac yn enwedig at y diffyg hamdden yn y cyfarfod ddau o'r gloch yr ail dydd i fyned trwy y gorchwylion pwysig sydd yn dyfod o flaen y cyfarfod hwnw gyda y rhyddid a'r effeithiolrwydd sydd mor anghenrheidiol er peri fod ei weithrediadau yn fendithiol i'r Cyfundeb; ac awgrymai Mr. Rowlands fod y Gymdeithasfa, yn y ffordd a farner yn fwyaf doeth, yn cymeryd yr achos yma dan ystyriaeth, ac yn ceisio gweled pa fodd i wella diffyg ag y credai efe y teimlid yn bur gyffredinol oddiwrtho. Siaradodd amryw frodyr eraill i'r un perwyl; a chytunwyd fod yr achos hwn i'w gymeryd dan sylw yn y Gymdeithasfa nesaf.

VI. Hysbyswyd am yr Arholiad Cymdeithasfaol nesaf yn y Gogledd, a bod anghenrheidrwydd yn ol yr arferiad ar hyn, am i'r rhai a fuasent o'r blaen yn Arholwyr, ag oeddent bresennol yn y Gymdeithasfa hon, ymgynghori â'u gilydd pwy a gynnygid ganddynt yn Arholwr am y ddwy flynedd ddyfodol.

VII. Ymofynwyd, yn ol penderfyniad y Gymdeithasfa ddiweddaf, a oedd y Cyfeisteddfod Cenadol Sirol mewn bod ac yn gweithredu yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol. Cafwyd fod y mater hwn wedi cael sylw, er y Gymdeithasfa ddiweddaf, yn y Cyfarfodydd Misol canlynol:—Môn, Lleyn ac Eifionydd, Dwyrain Meirionydd, Gorllewin Meirionydd, Manchester, a Henaduriaeth Lancashire; ac heb gael sylw yn y Cyfarfodydd Misol a ganlyn:—Arfon, Dyffryn Conwy, Dyffryn Clwyd, Fflint, a Threfaldwyn Uchaf (am na chaed Cyfarfod Misol cyflawn yno er y Gymdeithasfa ddiweddaf).

Dymunir adgofio yr holl Gyfarfodydd Misol o'r pwysigrwydd o gydffurfio âg annogaeth Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth a'r Gymanfa Gyffredinol ar y pwnc hwn.

VIII. Treuliwyd amser maith yn y ddau eisteddiad o'r Cyfeisteddfod ddydd Mercher i ystyried y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr, y rhai a gynnygid i'r Gymdeithasfa gan y Pwyllgor a fu yn ystyried yr holl achos. Cafwyd eisteddiad maith ddydd Iau hefyd i ystyried ymhellach y

Rheolau hyn, a'r Rheolau i Ddewis Gweinidogion i Eglwysi. Rhoddwyd ystyriaeth bwyllog i'r gwelliannau a awgrymid gan y gwahanol Gyfarfodydd Misol ar y Rheolau cynnygiedig; ac o'r diwedd cyttunwyd arnynt fel y gwelir hwy yn hanes y cyfarfod am ddau o'r gloch ail ddydd y Gymdeithasfa hon. Cydolygwyd i enwi Dr. Thomas, Dr. Hughes, a Mr. T. Lewis, i gyfarfod y brodyr a enwyd gan Gymdeithasfa y De i edrych a ellir cael Rheolau unffurf i'r ddwy Dalaeth.

*O herwydd meithder yr amser a dreuliwyd gyda'r Rheolau uchod, ni chaed Cyfarfod Pregethwyr a Chyfarfod Blaenoriaid ar wahân yn y Gymdeithasfa hon.*

### DYDD IAU, AWST 24AIN.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch y prydnawn.*

Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. S. A. Frazer.

I. Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Rhyl, ar ddyddiau Mawrth, Mercher, a Iau, Rhagfyr 5, 6, a'r 7fed. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i ddechreu am ddau o'r gloch ddydd Mawrth, Rhagfyr 5ed.

II. Cadarnhäwyd penodiad Mr. S. Dew yn Aelod o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.

III. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. S. A. Frazer yn aelod o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig.

IV. Cyttunwyd ar y penderfyniad canlynol o berthynas i sefle anfanteisiol y Capel Cymraeg yn ninas Dublin. "Ein bod yn cyflwyno y mater hwn i Gyfarfod Misol Môn, gan ddymuno ar iddynt hwy anfon brodyr i Dublin i wneyd ymchwiliad i'r holl achos a dwyn adroddiad i'r Cyfarfod Misol, ac yna ar i'r brodyr yn Môn ddwyn y genadwri a farnont hwy yn briodol ar hyn i un o'r Cymdeithasfäoedd nesaf."

V. Penderfynwyd fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu tir perthynol i'r Cyfundeb ynglŷn â chapel y Fron, Dinbych.

VI. Hysbyswyd fod yr Arholiad Cymdeithasfäol nesaf yn y Gogledd i gael ei gynnal yn Nghroesoswallt, Hydref yr 16eg, yr 17eg, a'r 18fed—yr eisteddiad cyntaf i ddechreu am 6 o'r gloch nos Lun yr 16eg: ac fod enwau yr ymgeiswyr i fod yn llaw y Parch. William James, B.A., 3 Oscroft Place, Moss Lane East, Manchester, ar neu cyn yr 16eg o Medi, 1882. Penodwyd y Parch. Owen Jones, B.A., Liverpool, i fod yn Arholwr am y ddwy flynedd nesaf.

VII. Darllenwyd y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr o fewn cylch Cymdeithasfa y Gogledd, fel y penderfynwyd arnynt yn Nghyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

*Rheolau Cymdeithasfa y Gogledd i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr.*

I. Ein bod yn annog y gweinidogion a'r blaenoriaid i gadw sylw manwl ar yr eglwysi, er mwyn canfod a meithrin cymhwysderau i weinidogaeth y gair. Ac wedi i swyddogion eglwys ddeall fod ynddi ŵr ieuanc â'g ynddo duedd at y weinidogaeth, os barnant ei fod o gymeriad da a defnyddioldeb blaenorol, ac yn meddu ar ysbryd a dawn y weinidogaeth, dysgwylir iddynt roddi iddo gyfleusderau pellach i arfer ei ddawn yn yr Ysgol Sabbothol, cyfarfodydd dirwestol, cyfarfodydd gweddi, cyfarfodydd eglwysig, &c., am amser digonol i alluogi yr eglwys i ffurfio barn am ei gymhwysderau i'r gwaith.

II. Wedi prawf boddhaol i'r swyddogion fod yr ymgeisydd yn meddu y cymhwysderau angenrheidiol, gofyner cymeradwyaeth yr eglwys, trwy arwydd, i gyflwyno ei achos i'r Cyfarfod Dosbarth; ac os ceir boddlonrwydd yn adroddiad y swyddogion ddarfod iddynt weithredu yn rheolaidd, trefner i'r ymgeisydd fyned trwy y Dosbarth i anerch a holwyddori yr Ysgolion Sabbothol, ac i esbonio rhanau o'r Ysgrythyrau yn y cyfarfodydd eglwysig a'r cyfarfodydd gweddi.

III. Pan fyddo yr ymgeisydd wedi ymweled bedair gwaith, o leiaf, â holl eglwysi y Dosbarth, dyger ei achos drachefn gan y swyddogion i Gyfarfod Dosbarth y byddo rhybudd wedi ei roddi ymlaen llaw gan yr ysgrifenydd fod ei achos i ddyfod ymlaen ynddo, ac un y byddo tair rhan o bedair o eglwysi y Dosbarth yn cael eu cynnrychioli ynddo; ac os derbynia, trwy bleidlais ddirgel, gymeradwyaeth dwy ran o dair o'r swyddogion fyddont yn bresennol, awdurdoder swyddogion yr eglwys y perthyna iddi i anfon cais i'r Cyfarfod Misol am genadau—gweinidog a blaenor—i'w chynnorthwyo i ffurfio barn am gymhwysderau yr ymgeisydd, trwy ei holi am ei wybodaeth ysgrythyrol, ei brofiad, a'i gymhelliadau at y weinidogaeth, ac i dderbyn ei llais ar ei achos trwy bleidlais ddirgel; a bydd yn angenrheidiol iddo gael dwy ran o dair o bleidleisiau yr aelodau fyddont ar y pryd yn bresennol, ac yn pleidleisio, cyn y gellir myned ymlaen ymhellach gyda'i achos.

IV. Pan wnair ei ddewisiad, ynghyd a chymeradwyaeth y cenadau o hono, yn hysbys i'r Cyfarfod Misol, penoder brodyr i'w arholi am ei wybodaeth gyffredinol o'r Ysgrythyrau, ac ar bynciau athrawiaethol crefydd; ac wedi hysbysu i'r ymgeisydd y materion, a rhoddi iddo ddau fis o leiaf i ymbarotoi, arholer ef yn gyntaf mewn ysgrifen, ac wedi hyny, os bydd yr arholwyr yn ei gymeradwyo, yn gyhoeddus yn y Cyfarfod Misol; ac yna, os wedi clywed ei atebion, ac adroddiad ganddo o'i hanes crefyddol, a'i gymhelliadau at waith y weinidogaeth, y derbynia gymeradwyaeth y frawdoliaeth fyddo yn bresennol, rhodder rhyddid iddo i bregethu o fewn cylch y Cyfarfod Misol; ac wedi iddo wneuthur hyny am oddeutu blwyddyn, ystyrier ef ar dir y gellir ei gyflwyno fel ymgeisydd am dderbyn-

iad i'r Athrofa; ond ni ellir ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol cyn pen dwy flynedd ar ol ei arholiad ynddo.

V. Nad oes un pregethwr ar dir ag y gall y Cyfarfod Misol ei gyflwyno i'r Gymdeithasfa i'w ordeinio i'r holl waith, oddieithr ei fod cyn hyny wedi bod yn pregethu am bum' mlynedd o leiaf, o adeg ei arholiad yn y Cyfarfod Misol, a'i fod hefyd wedi myned yn llwyddiannus trwy yr Arholiad Cymdeithasfäol, yn gystal a'i fod wedi rhoddi prawf boddlonol o'i ffyddlondeb, ei ddifrifwch, a'i ddoniau addas i waith yr Arglwydd, ac wedi derbyn dwy ran o dair o bleidleisiau yr eglwysi fyddont yn cael eu cynnrychioli yn y Cyfarfod Misol yr ymdrinir â'i achos.

VI. Tra y mae pob pregethwr a fyddo wedi myned trwy yr Arholiad Cymdeithasfäol yn llwyddiannus i'w olygu ar dir ag y gellir ei ddewis i'w ordeinio, nad oes enw un pregethwr i'w osod ger bron y Cyfarfod Misol i'w gyflwyno, fel y cyfryw, oddieithr y sawl a fyddo yn cael ei gynnyg gan yr eglwys neu yr eglwysi y byddo wedi ei alw yn weinidog iddi neu iddynt.

Cyttunwyd, fod y Rheolau uchod yn cael eu derbyn a'u cymeradwyo gan y Gymdeithasfa.

VIII. Darllenwyd y Rheolau canlynol er cyfarwyddyd pa fodd i ddewis gweinidogion ar Eglwysi, fel y cyttunwyd arnynt yn Nghyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

*Rheolau Cymdeithasfa y Gogledd i Ddewis Gweinidogion ar Eglwysi.*

I. Wedi i eglwys, neu nifer o eglwysi mewn undeb â'u gilydd, ddyfod yn addfed i alw brawd i'w gwasanaethu fel gweinidog, gwneled y swyddogion hyny yn hysbys yn Nghyfarfod Misol y Sîr, yr hwn sydd i benodi gweinidog a blaenor i gymeryd llais yr eglwys neu yr eglwysi trwy bleidlais ddirgel.

II. Os bydd tair rhan o bedair o'r aelodau fyddant ar y pryd yn bresennol, ac yn pleidleisio, yn ei alw, bydd wedi ei ddewis yn rheolaidd yn weinidog i'r eglwys, yn ddarostyngedig i gymeradwyaeth y Cyfarfod Misol.

*Nodyn Eglurhaol.*—Pan fyddo nifer o eglwysi yn ymuno, tair rhan o bedair o aelodau yr eglwysi gyda'u gilydd sydd yn angenrheidiol i sicrhâu galwad reolaidd.

III. Nad yw yr un a ddewisir i wasanaethu eglwys ar dir y gellir ei gyflwyno gan yr eglwys i'r Cyfarfod Misol i'w ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth, oddieithr iddo fod wedi ei gwasanaethu am flwyddyn o leiaf ar ol ei sefydliad.

IV. Fod yn anghenrheidiol i ymadawiad gweinidog âg eglwys, yn gystal â'i alwad gan eglwys, gael ei hysbysu i'r Cyfarfod Misol, a'i gadarnhâu ganddo.

Cyttunwyd, fod y Rheolau hyn yn cael eu cymeradwyo gan y Gymdeithasfa.

IX. Darllenwyd y rheol gyntaf o "Reolau Gymdeithasfa y Gogledd er dewis Diaconiaid" fel y mae ar ol y cyfnewidiad a gynnygir ynddi,—"Fod y dewisiad o flaenor neu flaenoriaid mewn eglwys i'w wneyd trwy bleidlais ddirgel mwyafrif aelodau yr eglwys fyddo yn bresennol ar y pryd *ac yn pleidleisio:* y meibion a'r merched i'w hystyried ar yr un tir yn y mater." Penderfynwyd fod y rheol hon, yn cynnwys yr ychwanegiad *ac yn pleidleisio* yn cael ei chymeradwyo.

X. Penderfynwyd fod Dr. Thomas, Dr. Hughes, a Mr. T. Lewis i gyfarfod y brodyr a benodwyd gan Gymdeithasfa y De, i gydystyried a ellir cael Rheolau unffurf i'r ddwy dalaeth i dderbyn ac ordeinio pregethwyr a dewis gweinidogion.

XI. Darllenwyd Adroddiad Pwyllgor y Drysorfa Gynnorthwyol gan yr Ysgrifenydd, y Parch. T. J. Wheldon, B.A. (Ymddengys yr Adroddiad, a'r penderfyniadau mewn perthynas iddo, yn y rhifyn nesaf.)

DYDD GWENER, AWST 25AIN.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am 8 o'r gloch y bore.*

XII. Cafwyd Adroddiad o weithrediadau y Pwyllgor Dirwestol gan yr Ysgrifenydd, y Parch. D. Jones, Garegddu, yr hwn oedd fel y canlyn:—

*Adroddiad o Weithrediadau y Cyfeisteddfod Dirwestol, a ymgyfarfu am 5 o'r gloch prydnawn dydd Mercher, ac am 12 o'r gloch dydd Iau.*

Yr oedd yn bresennol, y Parchn. Owen Owens, Liverpool; Edward Griffiths, Meifod; J. Eiddon Jones, Llanrug; David Jones, Gwyddelwern; David Jones, Machynlleth; E. Foulkes Jones, Llansantffraid; Benjamin Hughes, Llanelwy; a Mr. Griffith Ellis, Manchester; y Parch. Daniel Rowlands, M.A., Cadeirydd y Pwyllgor, a'r Ysgrifenydd.

Cynnygia y Pwyllgor i sylw y Gymdeithasfa y penderfyniadau canlynol:—1. Ein bod yn dwfn lawenhâu wrth ddeall bod yr adeg bellach yn ymyl—sef y Sabboth cyntaf ymhob rhan o'r wlad ar ol y cyfarfod i roddi trwyddedau—pan y bydd holl dafarnau Cymru yn cael eu cau ar ddydd yr Arglwydd. Dymunem hefyd ddadgan ein hyder y bydd i'r Methodistiaid Calfinaidd, mewn undeb â chyfundebau crefyddol eraill, yn ein holl ardaloedd, wneyd yr oll a fyddo o fewn eu gallu tuag at sicrhâu i'n cydwladwyr y daioni mwyaf oddiwrth y trefniad hwn; ac yn enwedig y bydd iddynt nesâu yn dirion at y rhai a arferent fyned i'r tafarnau ar y dydd sanctaidd, ac ymdrechu eu cael i'r Ysgol Sabbothol, a than ymgeledd yr efengyl.—2. Ein bod hefyd yn rhoddi annogaeth gref ar fod ymdrech arbenig yn cael ei gwneyd ymhob man ddechreu y gauaf dyfodol gyda yr achos Dirwestol, a hyny trwy gynnal *cyfres o gyfarfodydd*, ar ffurf y "*missions*" sydd wedi profi mor lwyddiannus mewn rhanau eraill o'r deyrnas, ac fod pob ymdrech yn

cael ei gosod ar waith i gael ein cydwladwyr ymwrthod yn llwyr â themtasiwn beryglus y ddiod feddwol.—3. Ynglŷn â'r ymdrechion a wneir yn ein plith gyda Dirwest, ein bod yn annog ar fod ymdrech neillduol yn cael ei gwneyd i hyfforddi ein plant mewn egwyddorion ac ymarferiadau Dirwestol.—4. Fod ymholiad yn cael ei wneyd i ba raddau y mae y pethau a gymhellwyd gan y Pwyllgor hwn yn Nghymdeithasfa Harlech yn cael eu cario allan yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol.—DAVID JONES, *Ysgrifenydd.*

Cyttunwyd fod yr Adroddiad hwn yn cael ei dderbyn a'i gymeradwyo gan y Gymdeithasfa.

XIII. Penderfynwyd fod y Pwyllgor Dirwestol yn cael ei ail benodi am flwyddyn arall, a bod y Parch. Joseph Thomas, Carno, yn cael ei chwanegu at y Pwyllgor Dirwestol.

XIV. Galwyd sylw at ein rhwymedigaeth i ddiolch i'r Arglwydd am ei ddaioni tuag atom yn ei ragluniaeth y flwyddyn hon, a rhoddwyd annogaeth ar i bob Cyfarfod Misol, o fewn cylch y Gymdeithasfa, benodi diwrnod a fyddo yn fwyaf cyfleus iddynt hwy, i fod yn ddydd o ddiolchgarwch am y cynauaf y flwyddyn hon; ac annogaeth hefyd ar i bawb ofalu am ddwyn offrwm i'r Arglwydd mewn cyfraniad at ryw achos da ar y dydd hwnw.

XV. Coffäwyd yn barchus a hiraethlawn am y diweddar Mr. Roger Evans, Porthaethwy, yr hwn a fu am flynyddoedd lawer yn Drysorydd y Gymdeithasfa. Rhoddwyd ar yr Ysgrifenydd i ddanfon at ei weddw a'i blant amlygiad o gydymdeimlad y Gymdeithasfa â hwy yn ngwyneb y golled a gawsant yn ei farwolaeth.

XVI. Cafwyd adroddiad o ansawdd yr achos yn Lleyn ac Eifionydd gan y Parch. John Evans, B.A., Clynnog.—Dadganodd amryw o'r brodyr y llawenydd a deimlent wrth glywed cynnwysiad dyddorol yr Adroddiad, ac oblegid y dull doeth y gosodwyd y ffeithiau o flaen y Gymdeithasfa. Cyfeiriwyd at yr amddifadrwydd o weinidogion i weini yr ordinhadau ac i fugeilio yr eglwysi sydd mewn rhan helaeth o Leyn, a gofynwyd a oedd lle i obeithio y cyflenwid y diffyg hwn i ryw raddau cyn hir. Llawenheid wrth ddeall fod y gobaith am hyny yn cryfhâu.

Ni chaed amser i ymdrin â'r pwnc o Offeiriadaeth Crist. Hyderir y ceir amser i sylwi arno yn y Gymdeithasfa nesaf.

WILLIAM WILLIAMS,
*Ysgrifenydd.*

---

CYMDEITHASFA LLANGEFNI.

YR oedd y Parch. ROBERT HUGHES, Gaerwen, wedi ei benodi gan Gyfarfod Misol Môn i roddi, yn y Gymdeithasfa, olwg ar wedd ysbrydol yr achos yn y Sir; ond gan nad oedd amser iddo gyflwyno ei adroddiad yno, penderfynwyd yn unfrydol ar iddo ymddangos yn y DRYSORFA; ac y mae fel y canlyn.

Yr ydym wedi cael adroddiad lled gyflawn a chywir ar ansawdd allanol yr achos crefyddol ymysg y Methodistiaid yn Môn, ac y mae hwnw, ar y cyfan, yn adroddiad lled ffafriol. Ond paham y mae yn anghenrheidiol cyfeirio at Sir Fôn, a hyny yn fynych, fel pe byddai yn ol i siroedd eraill yn ei chyfraniadau at achosion crefyddol? Nid ydym, mae yn wir, yn gwneyd ond un casgliad tuag at y ddwy Gymdeithas Genadol; ac yr oedd hwnw y flwyddyn ddiweddaf, yn ol ystadegau y Gymanfa Gyffredinol, yn £642 10s. 7c. Gan hyny y mae yn fwy ar gyfer pob aelod na chyfraniadau Gorllewin Meirionydd; ïe, y mae yn fwy na chyfraniadau yr un Sir arall yn Ngogledd Cymru. Heblaw hyny y mae ein cyfraniadau at yr Achosion Seisonig yn mawr ragori. Ond er fod yr adroddiad, fel ei darllenwyd, am ansawdd allanol yr achos crefyddol yn ein mysg yn lled foddhäol, y mae yn anhawdd rhoddi adroddiad felly o'i ansawdd fewnol. Prin y gallwn ni edrych arno yn ei elfenau mewnol mewn gwedd mor galonogol. Er fod ein nifer yn amlach a'n trefniadau yn fanylach, byddai yn ormod i ni ddywedyd fod ein cynnydd mewn crefydd ysbrydol wedi bod yn gyfartal. Er hyny gallasem fod yn waeth; a dylem fod yn ddiolchgar am nad ydyw felly. Ond fe ddichon mai cyflwyno i'ch sylw rai o'n diffygion crefyddol a fyddai oreu i ni, oblegid ni a gawn drwy hyny fwy o'ch cydymdeimlad, eich gweddïau, a'ch cyfarwyddiadau. O ran hyny gall fod ein diffygion ni yn Môn yn ddiffygion cyffredinol ein Cyfundeb mewn Siroedd eraill. Pa fodd bynag am hyny, mi a enwaf i chwi rai o'n diffygion neillduol ni. A'r cyntaf o honynt yw ein musgrellni gyda chrefydd deuluaidd; a'r ail yw ein harafwch gyda dysgyblaeth eglwysig.

Gallaswn ddwyn i'ch sylw un arall yn flaenorol, yr hwn sydd wrth wraidd ein holl ddiffygion crefyddol, a hwnw yw ein heiddilwch mewn crefydd bersonol. Nid yw yr hyn a olygir genym yn grefydd bersonol yn agos mor amlwg ag y bu. Y mae yr arwyddion o grefydd bersonol dda, rymus, yn myned yn anamlach ac yn llai: y purdeb duwiol, y gostyngeiddrwydd dwfn, a'r difrifwch dwys, y rhai oedd yn hynodi crefydd yr hen bobl, yn myned yn llai lai—llai o ddarllen y Bibl, hyny yw, llai mewn cyfartalwch; felly y mae ein cynnydd mewn gwybodaeth grefyddol, brofiadol, ac ymarferol, yn fychan iawn; llai o weddïo hefyd. Yr Hollwybodol, mae yn wir, a ŵyr faint o weddïo dirgel sydd; ond gwyddom ninnau ryw gymaint am y gweddïo cyhoeddus; a gall fod y naill yn fynegiad lled gywir o nodwedd y llall. Pa fodd bynag, y mae llaweroedd yn ein heglwysi ag y mae yn anmhosibl eu cael i weddïo yn gyhoeddus, hyd yn nôd yn eu teuluoedd. Ac erbyn hyn y mae rhai o'r cyfryw yn cael eu dewis gan

yr eglwysi a'u derbyn gan y Cyfarfodydd Misol yn flaenoriaid. Y mae llai o ffyddlondeb i ddilyn moddion gras, yn enwedig y moddion ar foreu Sabboth, y cyfarfodydd gweddïo a'r cyfarfodydd eglwysig. Y mae llïaws yn ein mysg yn ystyried eu hunain yn aelodau yn ein Cyfundeb na welir mo honynt byth mewn cyfarfod eglwysig, oddieithr ar nos Sabboth. Ond, yn ddiweddaf oll, y mae proffeswyr crefydd yn llai ymdrechgar i ymddwyn ymhob màn ac ar bob achlysur yn deilwng i'w proffes grefyddol. Chwi a welwch gan hyny ein bod, lawer o honom, wedi syrthio yn ol mewn crefydd bersonol, fel mai prin y buasai yr hen Fethodistiaid yn cydnabod y cyfryw yn deilwng olynwyr iddynt hwy. Byddai yn fendith fawr i ni fel Cyfundeb, a byddem ninnau yn fendith fawr i eraill, pe y profem, a hyny yn helaeth, "olchiad yr adenedigaeth ac adnewyddiad yr Ysbryd Glân."

Ond i alw meddyliau ein gilydd, am ychydig amser, at y diffygion eraill a enwyd.

A'r cyntaf yw ein musgrellni gyda chrefydd deuluaidd. Y mae hwn yn fusgrellni mawr a chyffredinol. Oni buasai am hwn, buasai Methodistiaid Môn, a Methodistiaid Cymru, yn llawer llïosocach nag ydynt, a'u defnyddioldeb yn llawer mwy. Mae lle i ofni mai ychydig o rieni plant sydd yn ein heglwysi yn teimlo dyddordeb dwfn yn nygiad eu plant i fyny yn grefyddol. Na, y tebyg ydyw fod y nifer amlaf yn teimlo fel arall; gan hyny yn esgeuluso pob moddion er maethu eu plant yn ofn ac athrawiaeth yr Arglwydd. Heblaw hyny, y mae hyny o fyntumio crefydd sydd mewn llawer o deuluoedd yn beth hynod o ddiymadferth. Y mae felly o angenrheidrwydd; canys nid yw yn cael ei gyfnerthu trwy addoli yn deuluaidd na hwyr na bore na hanner dydd. Y mae darllen cyfran o Air yr Arglwydd yn feunyddiol, yn bwyllog, ac yn ddifrifol yn nghlywedigaeth yr holl deulu, a gweddïo drostynt drachefn, yn debyg o adael argraff grefyddol ddofn ar feddyliau y cyfryw, a'u dwyn hwynt i ofni Duw ac i rodio yn ei lwybrau ef.

Yr ail ddiffyg a enwyd yw ein harafwch gyda dysgyblaeth eglwysig. Y mae i'r gair dysgyblaeth eglwysig fwy nag un ystyr, mae yn debyg. Weithiau y mae yn golygu y moddion sydd i'w harfer er ennill pechaduriaid o'r newydd i fod yn ddysgyblion i'r Arglwydd Iesu. Bryd arall y mae yn golygu y moddion sydd i'w harfer tuag atynt ar ol eu hennill, megys eu porthi â gwybodaeth ac â deall, a'u hyfforddi drachefn yn llwybrau crefydd a rhinwedd. Y mae yn dra thebyg ein bod lawer iawn ar ol gyda dysgyblaeth eglwysig yn yr ystyriaethau hyn; ond am yr ystyriaeth a olygir genym yn amlaf pan ddefnyddir y gair dysgyblaeth eglwysig, sef gweinyddu ceryddon eglwysig pan fyddo angenrheidrwyad am hyny, yr ydym yn hyny wedi syrthio lawer islaw y safon a gawn ni yn y Testament Newydd, ïe, islaw y safon a gawsom o ddwylaw ein tadau. Y mae y Cadeirydd parchedig yn siarad cryn lawer am ragoriaethau ein hen bregethwyr. Y mae yn ddiau nad yw wedi anghofio y rhagoriaeth hwn a berthynai iddynt. Yr oeddynt hwy yn wir ofalus i gadw purdeb yr eglwysi. Nis gallent oddef o'u mewn ddim i beryglu anrhydedd a llwyddiant crefydd. Yr oedd achos crefydd dan ofal yr hen Fethodistiaid goreu mewn gwedd addawol iawn, a phawb, oddieithr gelynion crefydd, yn ei edmygu. A hyny drachefn oedd un o ddirgelion ei nerth a'i llwyddiant. Clywais rai o weinidogion yr enwadau eraill yn sylwi ac yn dywedyd, eu bod hwy wedi arfer edrych i fyny at y Methodistiaid, a hyny gyda chryn lawer o barch, oblegid nad oeddynt hwy yn goddef yn yr eglwysi gymeriadau annheilwng. "Ond," ebe un o honynt, "y maent wedi cyfnewid yn ddirfawr yn ddiweddar. Wedi iddynt gyffwrdd â'r Seithfed Reol, yr hon sydd yn derfyn ysgrythyrol rhwng yr eglwys a'r byd —byth er hyny," meddai, "y maent wedi syrthio i'r ochr arall, ac wedi syrthio islaw yr enwadau eraill." Ai gwir hyny, ni wn i. Ond hyn a wn i, fod rhai o'n heglwysi yn goddef yn aelodau rai sydd yn ymddwyn yn dra annheilwng. Y maent yn gallu cydddwyn â chwerylon chwerwon, y rhai sydd yn eu hamddifadu am fisoedd, ïe, am flynyddoedd, o un o'u rhagorfreintiau penaf. Y maent yn goddef meddwon yn aelodau, a hyny heb gymaint â'u galw hwynt i gyfrif (o leiaf yn gyhoeddus yn yr eglwysi). Y mae un o gynghorion Paul i Timotheus fel wedi ei lwyr anghofio ganddynt, sef, "Y rhai sydd yn pechu, cerydda yn ngwydd pawb, fel y byddo ofn ar y lleill."

Yr wyf yn ofni, ac y mae eraill lawer yn ofni, fod y diffygion y cyfeiriwyd atynt wedi cael llawer o gyfnerthiad drwy y penderfyniad y daethpwyd iddo yn ddiweddar o barthed i'r Seithfed Reol. Dywedai un o gynlywyddion y Gymanfa Gyffredinol, mai yr un yw syniad ein Cyfundeb am y Seithfed Reol yn barhâus. Pa fodd y gall hyny fod? Yr hen arferiad Fethodistaidd ydoedd diarddel pawb a droseddai y rheol hono; ond yr arferiad bresennol, gan amlaf, yw peidio gwneyd sylw o gwbl o'r cyfryw—peidio dangos un math o anghymeradwyaeth i'w hymddygiad. Oddieithr i'r Gymanfa Gyffredinol wneyd mwy o ddaioni nag a wnaeth hi eto, yr wyf yn ofni na wna hi ddim digon i wrthbwyso y drwg y mae hi wedi ei wneyd trwy ei hymyraeth â'r Seithfed Reol. Y mae yr eglwysi, byth er hyny, yn lle eu bod yn synied yr un peth ac yn cerdded wrth yr un reol, wedi myned i amrywio ac i ymrafaelio—rhai yn gweithredu fel hyn, a rhai yn gweithredu fel arall. Y mae rhai yn parhâu i weinyddu yr un cerydd ar droseddwyr y rheol; y mae eraill yn eu tori o gymundeb; ac y mae eraill lawer nad ydynt yn gwneyd sylw o gwbl o honynt. Gan hyny dyma un o'r elfenau penaf ag sydd yn cyfansoddi y terfyn rhwng yr eglwys a'r byd wedi ei chwbl ddileu. Ac y mae crefydd deuluaidd yn cael anfantais fawr drwy hyny. Yn lle bod y gŵr a'r wraig yn unfrydol i gydymdrechu i feithrin crefydd yn y teulu, y mae un fel hyn a'r llall fel arall; un yn adeiladu a'r llall yn tynu i lawr, a chrefydd yn dyoddef; y plant a'r gweinidog yn cael dirfawr gam a cholled.

Heblaw hyny y mae yr annybendod gyda dysgyblaeth eglwysig wedi mwyhâu yn ddir-

fawr yn ddiweddar. A pha beth amgen a allesid ddysgwyl? Canys os goddefir yn yr eglwysi y rhai sydd yn ieuo yn anghymharus gyda'r rhai digred, a hyny heb sylw o gwbl ar eu hachos, paham na oddefir ynddynt rai yn byw mewn pechodau eraill—y rhai sydd yn byw yn baganiaid yn eu teuluoedd, heb gymaint â darllen pennod o'r Bibl na gweddïo Duw un amser gyda eu plant a'u gweinidogion? A phaham na oddefir yn yr eglwysi rai yn anmharchu y Sabboth, nid yn unig drwy segura, rhodiana, ac esgeuluso moddion gras, eithr hefyd drwy wneyd y Sabboth yn ddydd marchnad? Dywedir fod rhai sydd yn aelodau ac yn swyddogion gyda'r Methodistiaid yn Sir Fôn, a siroedd eraill, yn gwerthu ac yn prynu llaeth ar ddydd yr Arglwydd. Ond ni waeth tewi, er y buasai yn hawdd siarad ac ysgrifenu, er ychwanegu llawer o engreifftiau i brofi ein bod wedi syrthio yn ol gyda dysgyblaeth eglwysig.

Y mae yn llawn bryd i ni gofio o ba le y syrthiasom, ac edifarhâu, a gwneyd y gweithredoedd cyntaf, rhag dygwydd i ni beth a fyddo gwaeth ar ol hyn. Yr wyf yn mawr obeithio y caiff fy anwyl frodyr, yn eu cynnadleddau o hyn allan, arweiniad Ysbryd y gwirionedd i ffurfio eu penderfyniadau, ac i'w cadarnhâu drachefn, er hyrwyddiant crefydd yr Arglwydd Iesu yn yr hen Gyfundeb anwyl. "Enw Duw Jacob a'i diffyno."

---

MARWOLAETH Y PARCH. DAVID WILLIAMS, CRUGHYWEL.

Bu Mr. Williams farw Awst 20, 1882. Yr oedd oddeutu 60 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu tua 84 mlynedd, ac wedi bod yn weinidog ordeiniedig am 21 mlynedd. Yn Crai y dechreuodd bregethu, ac wrth enw y lle hwnw yr adnabyddid ef yn mlynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth. Yr oedd yn gristion difrifol a gloew, ac yn bregethwr defnyddiol a blasus. Bu yn wael ei iechyd am dro hir, ond daeth ychydig yn well yn ei wythnosau olaf, ac yn hynod o awyddus am fyned i'w gyhoeddiadau Sabbothol. Pregethodd Sabboth Awst 13eg, a chychwynodd at Sabboth yr 20fed; ond tarawyd ef gan barlys yn y trên ar y ffordd, a bu farw bore Sabboth yn nhŷ ei fab yn Penycae. Claddwyd ef yn ei blwyf genedigol, yn Defynog.—*O'r Dyddiadur Methodistaidd*, 1883.

---

MARWOLAETH Y PARCH. JOHN EVANS, CROESOSWALLT.

Medi 12fed, bu farw y Parch. John Evans, gynt o Garston, ond yn ddiweddaf o Groesoswallt, yn 38 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu er ys tua 16 mlynedd, a'i ordeinio er ys un mlynedd ar ddeg. Dechreuodd bregethu yn Nghynwyd, gerllaw Corwen, ei le genedigol; a threuliodd flynyddoedd o'i oes weinidogaethol yn Nhregeiriog, o fewn cylch yr un Cyfarfod Misol, sef Dwyrain Meirionydd. Symudodd i weinidogaethu yn Garston, Liverpool, lle y llafuriodd yn ffyddlawn a chymeradwy iawn yn wyneb gwaeledd iechyd a mawr lesgedd corfforol. Tua diwedd 1880, oddiar obeithion am gryfhâd i'w iechyd, wedi derbyn gwahoddiad oddiwrth eglwys Sïon Croesoswallt, efe a symudodd yno; ac yno, ymhen tua deunaw mis, y gorphenodd ei yrfa. Bu yn Mentone, Deheudir Ffrainc, yn nechre y flwyddyn hon, ac yn ddiweddar yn y Borth gerllaw Aberystwyth; ond gwanhâu, yn lle cryfhâu, yr ydoedd efe yn y lleoedd hyn; a huno a wnaeth yn yr Iesu ar y dydd a nodwyd. Yr oedd Mr. Evans yn un o feddwl galluog, yn bregethwr gwir dda, er heb lais melodaidd, na dull hwyliog, yn awyddus yn ol ei allu, ac uwchlaw ei allu, i gyflawni ei weinidogaeth; a phe cawsai fyw, mae yn ddiau y daethai yn un o'r rhai mwyaf dylanwadol yn y Cyfundeb. Ond nid ein meddyliau ni oedd meddwl y Duw unig ddoeth. Ar ei gladdedigaeth yn mynwent capel Sïon, yr oedd 36 o weinidogion a thros gant o flaenoriaid a chyfeillion eraill o wahanol barthau, wedi dyfod ynghyd i ddangos eu parchedigaeth i'w goffadwriaeth.

---

SEFYDLIAD GWEINIDOG.

Mae Mr. Isaac Jones Williams, mab i'r diweddar Barch. Griffith Williams, Talsarnau, wedi ei sefydlu yn weinidog ar eglwysi Llandderfel a Chefnyddwysarn, gerllaw y Bala. Rhoddwyd iddo y derbyniad mwyaf croesawgar gan Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd; a gofidus oedd gan Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd ei golli o'r hen gylch cartrefol.

---

CAPELAU NEWYDDION.

Awst 28 a'r 29ain, cynnaliwyd cyfarfod pregethu ar agoriad capel Tan'rallt, Dyffryn Nantlle, Arfon, pryd y pregethwyd gan y Parchn. D. Charles Davies, M.A., Francis Jones, a D. Lloyd Jones, M.A., ac y cafwyd oedfaon effeithiol. Adeiladwyd yma gapel hardd a thŷ cyfleus am y draul o £930, ac y mae £270 wedi eu talu eisoes.

Awst 27 a'r 28ain, agorwyd capel newydd Ebenezer, Llwynbrwydrau, Gorllewin Morganwg, pan y pregethwyd gan yr hynafgwr hybarchus William Evans, Tonyrefail, a chan y brodyr parchedig Edward Matthews, W. Williams, o Abertawe, ac Ebenezer Thomas, ac y cafwyd cyfarfodydd rhagorol. Y mae hwn yn gapel gwir ardderchog, ac yn werth tua dwy fil o bunnoedd.

---

HAELFRYDEDD.

Yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd yn Mhontypridd yn niwedd Awst, cyflwynwyd i'r cyfarfod nodau arianol am £550 oedd yn aros yn ddyled ar gapel Caerphili, pa swm, trwy ymdrech y Parch. T. Davies a'r cyfeillion yno, a rhodd o £250 gan D. Lewis, Ysw., sydd erbyn hyn wedi ei dalu oll. ac felly tŷ yr Arglwydd bellach yn ddiddyled. Mawr lawenychid gan yr holl

frawdoliaeth o'r herwydd; a rhoddwyd pleidlais o ddiolchgarwch yn y modd gwresocaf i Mr. Lewis am ei garedigrwydd haelionus, ac amlygiad diffuant o werthfawrogiad o lafur effeithiol Mr. Davies yn yr achos hwn.

---

GWOBRWYO FFYDDLONDEB

CYNNALIWYD cyfarfod cyhoeddus lliosog yn Caeathraw, gerllaw Caernarfon, ar yr achlysur o ymadawiad Mr. David Roberts, Peblig Mills, i Penmaenmawr, pryd yr anrhegwyd ef â'i ddarlun, yr hwn oedd wedi ei dynu yn dda gan Mr. G. Watmough Webster, Caer, ynghyd a'r anerchiad canlynol wedi ei fframio yn hardd:—"Anwyl Frawd,—Yr ydym ni, Temlwyr Da perthynol i Deml Athraw, Rhif 188, ynghyd a lliaws o'ch cyfeillion, ar yr achlysur o'ch ymadawiad o'n mysg, yn dymuno dal ar y cyfleusdra hwn i roddi datganiad cyhoeddus o'n parch dwfn a'n cariad cynhes tuag atoch, ein rhwymedigaethau mawrion i chwi, ein hiraeth calon ar eich hol, a'n dymuniad gwresog am eich llwyddiant a'ch cysur yn y dyfodol, pa le bynag y trefna rhagluniaeth Duw eich cartref. I chwi yr ydym yn ddyledus, yn y flwyddyn 1873, am gychwyniad cyntaf ein Teml; ac i'ch ffyddlondeb a'ch dyfalbarhâd chwi y gellir priodoli rhan fawr o'i chynnydd a'i llwyddiant. Fel Teml Ddirpwywr ar hyd yr amser, cawsom chwi yn zelog a pharod, yn llawn o'r ysbryd rhagorol 'Awn a meddiannwn y wlad.' Sefydlasoch hefyd Deml y Plant, yr hon sydd yn parhâu mewn agwedd lewyrchus, ac yn gwreiddio yr oes sydd yn codi yn ddwfn yn egwyddorion dirwest. Fel arolygwr ac athraw yn yr Ysgol Sabbothol, yn neillduol mewn cysylltiad â'r plant, cawsom chwi yn fedrus, hwylus, a ffyddlawn; ac fel cynnrychiolydd i'r Cyfarfod Ysgol a Thrysorydd y Dosbarth, cyrhaeddasoch safle anrhydeddus ymysg eich cyfeillion. Fel blaenor yn eglwys Caeathraw, ennillasoch radd dda a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Ac fel swyddog medrus a chymydog caredig, cawsom chwi yn ymwelydd cyson, cymeradwy, a chymwynasgar tuag at y claf a'r methedig, ac yn gefnogydd diwyrni pob achos da. Teimlwn ein hunain yn weiniaid a hiraethus o herwydd eich ymadawiad; ac nis gallwn lai na dymuno i chwi hir oes a hapusrwydd i fod yn offeryn eto i wneuthur cymaint, a mwy, o ddaioni nag a wnaethoch yn Nghaeathraw, a choron y bywyd a llawenydd eich Harglwydd yn y pen draw."—*X. Y. Z.*

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## Bryniau Khasia a Jaintia.

### DOSBARTH SHANGPOONG.

RHANAU O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS.

AR ol crybwyll am ddosbarth a gynnelir ganddo gyda'r athrawon bob dydd ar ol yr ysgol am tuag awr a hanner, dywed Mr. Evans:—

"Yr wyf newydd fod yn rhoddi ugain o blant yr ysgol o dan arholiad mewn cerddoriaeth. Gwnaeth saith o honynt yn ddigon da i gael gwobr; a gwnaeth chwech neu saith eraill yn lled dda, er nad cystal ag yr oeddwn yn dysgwyl. Dyma yr arholiad cyntaf mewn canu a fu yma erioed; ac yr oedd y rhan fwyaf o'r plant fel pe yn methu deall yn iawn pa beth oeddwn yn ddysgwyl iddynt wneyd. Geneth fechan a bachgen (Ka Shawiang—10 oed, ac U Mania—13 oed) oeddynt y rhai cyntaf—cyfartal, ac ni wnaethant ond pedwar camgymeriad; ac athraw yr ysgol yma oedd yr ail. Arweiniais hwynt yn ol ac ymlaen, blith draphlith, ar y *modulator*. Canasant ddau ddernyn—un yn anhawddach na'r llall—ar yr olwg gyntaf; ac un darn arall yn cynnwys amryw o hanner tônau. Yr oedd yr arholiad yn brawf da arnynt, ac, iddynt hwy, fe allai, yn un caled iawn. Nid wyf yn sicr a ddywedais o'r blaen fod Mrs. Evans wedi rhoddi ei dosbarth Biblaidd o dan arholiad, a'n bod wedi bod yn rhoddi gwobr am *attendance* yn yr ysgol. Cafodd deuddeg o'r plant wobrwyon. Yr oedd yr uchaf—Ka Sah (merch U Kypa Ka Kat), wedi bod yn yr ysgol 244 o ddyddiau allan o 252 o ddyddiau ysgol yn ystod y flwyddyn; a'r olaf o'r deuddeg wedi bod yn yr ysgol 213 o weithiau yn ystod y flwyddyn. Yr ydym wedi gwneyd defnydd o roddion caredig cyfeillion Cymru, yn wobrwyon am lafur a llwyddiant, ac yn rhoddion i'r rhai tlotaf ar wahan. Mae y cynllun yma yn dechreu talu eisoes. Dywedai un eneth fach dair oed, wrth weled fod ei chwaer wedi cael gwobr am fyned i'r ysgol, 'Edrychwch, mam; o'r diwrnod yma allan, mi af i'r ysgol bob dydd drwy'r flwyddyn.'

"Mae yn dda genyf ddyweyd wrthych fod yma dair geneth (Ka Sah—10 oed, Ka Mari—12 oed, a Ka Kyllaw—18 oed) wedi dysgu holl Efengyl Luc i'r cof. Ddechreu y flwyddyn o'r blaen, rhoddais ef yn waith i'r Ysgol Sabbothol. Mae amryw eraill ar ei hanner, a rhai yn agos â'i gorphen; ond y mae y dair hyn wedi gorphen ei dysgu oll mewn tua phymtheng mis. Mae yn y llyfr 1151 o adnodau; ac wrth gyfrif eu bod wedi bod yn dysgu am 60 wythnos, gwelir eu bod wedi dysgu dros 19 o adnodau bob wythnos ar gyfartaledd. Mae Ka

Kyllaw (un o'r tair) yn myned i briodi yfory gydag un o'r Cristionogion yma; a byddaf yn cyflwyno ei gwobr iddi ar ddiwrnod ei phriodas. Yr oedd Mrs. Evans yn athrawes i'r rhai hyn am y rhan fwyaf o'r amser, a gwrandawodd hwynt ei hunan yn dyweyd eu hadnodau; fel y gallwn dystio nad ydynt wedi myned drwy y llyfr yn rhwydd. Yr Arglwydd a wnelo ei air yn 'llusern i'w traed ac yn llewyrch i'w llwybrau.'

"Mae ein gwaith yn y pentref yn myned ymlaen, ac, i'n golwg ni, yn ennill dylanwad. Wrth i mi ofyn i un dyn, yn ddiweddar, paham yr oedd yn rhwystro i'w fachgen ddyfod i'r ysgol, dywedai fod holl blant y pentref yn canu ein hymnau, a bod arno ofn i'w fachgen droi yn Gristion. Dyna i chwi dystiolaeth un o elynion Cristionogaeth am y gwaith sydd yn cael ei wneyd yn mhentref Shangpoong."

Mewn llythyr arall, dyddiedig Awst 5ed, dywed Mr. Evans:—

"Lladdodd *tigress* dair o'n gwartheg ni yr wythnos ddiweddaf yn y fan. Wrth i'r dyn ei churo, neidiai o'r naill fuwch i'r llall yn y fan. Yr oedd ganddi ddau gyw mawr i'w chanlyn. Rhoddais *arsenic* ar ddarn o'r cig, a bwytäodd un o'r cywion ef. Deallasom ei fod bron a marw; ac aeth bron yr holl bentrefwyr a'r Cristionogion gyda phicellau i chwilio am dano. Cawsant ef, a lladdasant ef. Yr oedd yn mesur saith troedfedd o'i drwyn i'w gynffon, ac yr oedd yn agos i lathen o uchder. Yr oedd un o'r cywion yn berffaith wŷn. Maent wedi lladd o gwbl yn mhentref Shangpoong gryn driugain o foch a geifr. . . . . Diolch yn fawr i chwi am yr Adroddiad, y *Glad Tidings*, y *Treasury*, a'r llythyr i'r brodorion. Byddant yn falch o hono."

---

## DOSBARTH MAWPHLANG.

### LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG GOR. 24, 1882.

Y MAE yn dda genyf eich hysbysu ein bod ni yma yn parhâu yn fyw ac yn iach. Y mae y gwaith yn myned rhagddo fel arfer yn Mawphlang ac yn Mawreng. Yn y lle olaf y mae tipyn ychwaneg yn dyfod i wrandaw nag a fu; ond y mae yr achos eto ymhell iawn o fod wedi adnewyddu i'w nerth a'i brydferthwch blaenorol. Y mae y bobl yno yn feddalach o lawer na phobl Mawphlang, ond yn rhai pur anwadal. Yr wyf yn credu fod pobl Mawphlang yn feddalach yn awr nag y buont er pan wyf yma; hyny yw, yn fwy caredig ataf fi yn bersonol, ond er hyny y maent yn bur bell oddiwrth Gristionogaeth.

Er ys ychydig yn ol yr oeddym yn rhoi gwledd i blant yr ysgol, ac yn rhanu rhai o roddion y cyfeillion caredig oddiyna. Y mae yn ymddangos fod cyfeillion Trevin, Sir Benfro, wedi bod yn llafurus iawn pan yn darparu eu rhoddion. Y mae yn ddiammheu y cawsant bleser mawr yn parotoi y pethau, a chawsom ninnau yma bleser mawr wrth sylwi ar ôl eu llafurus gariad pan yn dattod y sypyn, &c. Yr oedd ymhlith y pethau a ddaeth i ni roddion gwerthfawr hefyd oddiwrth Mr. Houghton, Aberystwyth; Parch. D. Williams, Conwy; Parch. Daniel Owen, Wyddgrug; Mrs. Hughes, Tŷ Coch; Mr. David Jones, Liverpool; Mrs. Evans, Bodedern, &c., &c. Diolch yn fawr hefyd i Mr. Griffith, Palace Street, a Mr. Edmonds, Caernarfon, am eu rhoddion o hadau (gwenith, haidd, &c.) i'r Khasiaid ymdrechu codi y cnydau hyny yn eu gwlad eu hunain. Os llwyddant, bydd yn fendith fawr iddynt. Yr ydym yn teimlo yn wir ddiolchgar i'r cyfeillion hyn oll, a lliaws o rai eraill, am ein cofio ni a'r gwaith.

Yr wythnos ddiweddaf yr oedd genym briodas arall yn Mawphlang. Mewn llai na blwyddyn o amser, y mae chwech o briodasau wedi cymeryd lle yn dwyn cysylltiad agos â'r dosbarth hwn. Pwnc mawr—y pwnc mwyaf—ymhlith y Khasiaid ydyw priodi a magu plant. Os erys dyn yma yn sengl hyd 30 neu 35, y mae yn un o'r "saith ryfeddod" gan y Khasiaid. Ac y mae y priodasau diweddar wedi newid teimladau y merched ieuainc a'u mamau yn hollol at Gristionogaeth.

---

## LLYTHYR ODDIWRTH MRS. ROBERTS, CHERRA.

YN ddiweddar derbyniodd Miss Davies, Liverpool, lythyr oddiwrth Mrs. Roberts, o ba un y mae yn dda genym ddyfynu y rhanau canlynol.

"Yr wyf yn anfon i chwi lythyr oddiwrth Ka Kymi Ka Jillun (mam Ka Jillun). Ysgrifenwyd ef gan Ka Jillun fel y cyfarwyddid hi gan ei mam. Mae hi yn Gristion da ac yn wraig ddeallus; ei phleser yw darllen y Testament Khasiaeg a *Thaith y Pererin*. Mae y Khasiaid yn hoff iawn o'r llyfr hwn. Yn ein dosbarth nos Sabboth gyda'r gwragedd hynaf, byddwn yn cymeryd *Taith y Pererin* yn destyn ymddyddan. Chwech neu saith sydd yn arfer dyfod i'r dosbarth hwn, o'r rhai nad oes ond dwy yn medru darllen; felly dygid

ef ymlaen mewn dull rhydd ac ymddyddanol sydd yn fwy cymhwys i'r hen wragedd. Mae genyf le i gredu eu bod yn mwynhâu y dosbarth hwn, ac yr wyf yn gobeithio hefyd eu bod yn cael budd oddiwrtho. Nid yw yr un a arferai fod yn fwyaf cyson yn y cyfarfod gyda ni mwyach—Ka Kian U Baronsing. Bu farw yn nechreu Ionawr. Yr oedd wedi bod yn dyoddef er ys rhai misoedd,—weithiau yn well a phryd arall yn waeth, fel nad oeddym rywfodd yn meddwl fod ei chlefyd i farwolaeth. Tua diwedd Rhagfyr aeth yn llawer gwaeth. Gan fy mod i fy hun yn wael ar yr adeg yr aeth yn waelach ac y bu farw, nid ellais, er fy mawr alar, fyned i'w gweled; ond clywais gan eraill ei bod yn hollol dawel, ac hyd yn nod yn hyderus. Dywedai, 'Ni bydd i mi wella eto; yr wyf yn myned i farw yn awr, ond y mae pob peth yn iawn; yr wyf wedi rhoddi fy hunan yn llwyr i'r Iesu; ynddo Ef yn unig yr ymddiriedaf.' Yr oedd rhywbeth rhyfedd yn holl brofiad y wraig hon. Wrth wrandaw ar ei hŵyr (ei mab-cu) yn darllen *Tyred at Iesu*, tarawyd hi yn fawr gan y gwahoddiadau rhyfeddol sydd ynddo, a gwnaeth iddo eu darllen drachefn a thrachefn. Effeithiasant arni gymaint, fel yr ymbarotôdd ar unwaith i adael ei thŷ i ddyfod i Nongsawlia. Nis gallai ddysgu darllen, gan fod ei golwg yn pallu, ond arferai ddysgu hymnau ac adnodau; yn enwedig am fod ei hŵyr wedi dyweyd wrthi nad oedd yn briodol myned yn waglaw i Dŷ yr Arglwydd. Ar ol iddo ef wneyd y sylw hwn, gwnai iddo ddysgu adnod iddi erbyn pob Sabboth. Trysorai bobpeth a ddysgai yn ei chof, neu yn hytrach yn ei chalon, a gwnai ef yn llythyrenol yn eiddo iddi ei hun. Ar nos Sabbothau gallai bob amser adrodd i mi ychydig o'r pregethau: trysorai y cnewyllyn. Deuai yma yn fynych i ymddyddan â ni am ei theimladau ac am ei sefyllfa ysbrydol. Yr oedd yn hoff iawn o siarad am y Gwaredwr a'i gariad rhyfedd; ac wrth gofio am ei ddyoddefiadau drosti hi, llifai y dagrau dros ei gruddiau duon. 'Mor ryfedd,' dywedai, 'iddo ddyoddef y pethau yna i gyd droswyf fi, a'u dyoddef yn wirfoddol, o'i ewyllys da ei hun.' Y oedd dyoddefiadau *gwirfoddol* ein Gwaredwr bendigedig yn peri iddi deimlo yn ddwys.

"Mae Mr. Lewis wedi dyfod a dychwelyd. Yr oeddym oll yn edrych ymlaen gyda dysgwyliadau pleserus am ei ymweliad, y rhai a sylweddolwyd pan y daeth i'n mysg. Mae wedi gadael argraff o'r fath fwyaf ffafriol ymhob man. Teimla y Cristionogion eu bod wedi cael dyn Duw yn eu plith. Credaf mai effaith ei ymweliad fydd cadarnhâu yr eglwysi, a'u hûno i weithio mwy nag erioed. Ymddengys eu bod yn gwerthfawrogi y geiriau annogaethol â pha rai y cyfarchodd hwynt yma ac acw yn y gwahanol eglwysi. Gwn eu bod wedi teimlo yn ddwys wrth feddwl am y cariad a'i harweiniodd o Gymru i weled gwaith Duw mewn man mor bellenig ar Fryniau Khasia. Yn wir, llonwyd ac adnewyddwyd ni oll trwy ei arosiad ar y Bryniau."

A ganlyn sydd gyfieithiad llythyrenol o gyfieithiad Mrs. Roberts o'r llythyr y cyfeirir ato uchod, oddiwrth fam Ka Jillun.

"Nongsawlia.

At yr holl foneddigesau anwyl,—

Mae yn foddhâus iawn genyf ysgrifenu y llythyr hwn atoch chwi oll yna, gyda theimladau o wir ddiolchgarwch i chwi ein Hathrawon a'n cynnorthwywyr, ac i'n holl gyfeillion cristionogol, am i chwi anfon athrawon, y rhai ydynt wedi dyfod i ddysgu i ni air Duw. Yr wyf yn diolch i Dduw fy mod wedi cael gafael ar Iesu Grist. Pan y cefais ef, gwelais mor anfeidrol fawr oedd cariad Duw, ac mor annhraethadwy, pan, ïe, droswyf fi, yr hon oeddwn wedi suddo mewn pechod, y darfu i Dduw drefnu moddion (gwaredigaeth) trwy anfon ei weision i'm hysbysu am Iesu Grist. Pan oedd Mr. H. Roberts yma, yr hwn sydd yn awr wedi dychwelyd yna, efe a'm dysgodd mai Iesu Grist oedd y Ceidwad; felly teimlwn yn dra diolchgar iddynt. Pan y daeth ein cenadon presennol drachefn, darfu iddynt hwy fy nysgu yn fwy perffaith; porthasant fi â gair Duw. Yr wyf yn teimlo nad oes dim yn fwy melus na gair Duw. Mor ddiolchgar y dylwn deimlo eu bod hwy wedi cydymdeimlo â mi, yr hon nad wyf ond megys pryfyn, a'ch bod chwi oll wedi cydymdeimlo â mi, yn gorfforol yn gystal ag yn ysbrydol. Mor ddwfn yw fy niolchgarwch i chwi oll am eich bod wedi cymeryd trafferth er mwyn gair Duw. Yr wyf yn gweled eich cariad mawr. Pan y gwelais fod y boneddwr (Mr. Lewis) yn dyfod i'n gweled, aethum i'w gyfarfod ar y ffordd. Pan y cyfarfyddasom, canasom Hymn 191 (yn y Llyfr Hymnau Khasiaeg). Pan y gwelais ef cynnyddodd fy niolchgarwch yn fawr, fy nagrau hefyd a'm llawenydd, a phan y clywais ef a Mr. Jones yn dyweyd am eich caredigrwydd oll, fawrion a bychain. Yn fy ngweddïau ni byddaf byth yn eich anghofio. Yr wyf yn ddiolchgar i'r foneddiges a anfonodd y cerdyn i Ka Symphora. Yr wyf yn hyderu, trwy drugaredd Duw, y caf ddal yn ddiysgog i'r diwedd. Er yn wir na chyfarfyddwn yn y byd hwn, gobeithiaf y cawn gyfarfod yn y nefoedd. Yr wyf yn credu fod genych chwithau hefyd y gobaith hwnw,—y cawn

gyfarfod yn y Nefoedd trwy gyfiawnder Iesu Grist, ac y bydd iddo ef fy nghuddio yn ei glwyfau. Fy anerch atoch oll.

KA KYMI KA JILLUN.
(Mam Jillun)."

## LLYFRYN CENADOL SEISONIG.

MAE amryw o gyfeillion wedi bod yn ymofyn o bryd i bryd am bapyryn yn yr iaith Saesoneg yn rhoddi hanes ein Cenadaeth, i'w roddi yn nwylaw rhai o'u cyfeillion o Saeson. Mae y llyfryn bychan GLAD TIDINGS yn cynnwys hysbysrwydd o'r fath Nid yw ei bris ond un geiniog, ac y mae gydag ef *fap* o'n maes cenadol yn India. Gellir ei gael ond anfon at *Mr. W. Jones, Cambrian Printing Works, Commercial Street, Newport, Mon.* Rhoddir yr elw arferol i ddosbarthwyr. Bydd unrhyw elw oddiwrth ei werthiant yn myned i'r Genadaeth.

## Nodiadau Cenadol.

CENADAETHAU YN AFFRICA. — Mae Cymdeithas Genadol Eglwys Loegr yn Ngorllewinbarth Affrica wedi bod yn hynod lwyddiannus. Pan yr aeth yr Esgob Cheetham i gymeryd arolygiaeth y Gorsafoedd yn 1870, yr oedd eglwys frodorol Sierra Leone wedi ei sefydlu er ys rhai blynyddoedd. Yr oedd yn perthyn iddi y pryd hyny 2000 o Gristionogion, 6 o weinidogion Ewropëaidd, a naw o rai brodorol, y rhai a gynnelid gan y Genadaeth. Mae yn awr yn perthyn i Eglwys Frodorol Sierra Leone 18 o weinidogion a 76 o athrawon lleygol. Bedyddiwyd 875 yn 1881. Mae rhif y cymunwyr yn 5284; gwrandäwyr, 18,860. Mae yn agos i bymtheng mil o blant dan addysg. Mae y Gymdeithas Genadol yn awr bron yn gallu cilio o'r maes; nid oes ganddi yn ei gwasanaeth ond dau o weinidogion Ewropëaidd a dau o rai brodorol, y rhai ydynt yn cymeryd rhan mewn addysg uwchraddol. Mae gan yr eglwys frodorol erbyn hyn orsafoedd Cenadol, tuag at ba rai y codwyd £518 y flwyddyn ddiweddaf.

Cenadaeth arall sydd yn llafurio yn Affrica ydyw yr un a elwir *The Central African Mission.* Daeth hysbysrwydd i'r wlad hon ddechreu y mis diweddaf fod arolygydd y Genadaeth, yr Esgob Steere, wedi marw ar y 27ain o Awst. Yr oedd yn y wlad hon mis Mehefin yn pleidio achos y Genadaeth; bydd ei farwolaeth yn golled fawr iddi. Dywedir ei fod yn meddu ar gyfuniad o ragoriaethau oedd yn ei gymhwyso i'w waith yn y rhan lle y llafuriai—yn bregethwr, yn argraffydd, yn saer, ac yn arch adeiladydd.

Y MORAFIAID.—Ar yr 21ain o Awst, cynnaliwyd cyfarfodydd gan y Brodyr Unedig, fel y gelwir y Morafiaid, i goffâu trydydd Jiwbili anfoniad eu Cenadwr cyntaf. Nid yw y Morafiaid yn rhifo ond ugain mil gartref,—ond y maent wedi casglu i'r eglwys dri ar ddeg a thriugain o filoedd allan o'r byd paganaidd.

CENADAETH CANOLBARTH CHINA (*The China Inland Mission*).—Aeth dau o Genadon Meddygol allan yn ddiweddar mewn cysylltiad â'r Genadaeth hon, sef Dr. Edwards a Dr. Wilson. Yr oedd y ddau wedi cael profiad gyda'r gwaith cenadol ac fel Meddygon yn Llundain, ac yn Edinburgh. Yr oedd Dr. Wilson yn myned allan ar ei draul ei hunan. Dychwelai tri o Genadon eraill gyda hwynt i China, sef Mri. McCarthy, Moore a Buller, y rhai oeddynt wedi bod drosodd yn y wlad hon am dymmor er mwyn eu hiechyd.

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mr. W. Williams, Aberystwyth ........ | 0 | 10 | 0 |
| "Ffrind o Hiraethog," at wasanaeth y Parch. Dr. Griffiths, i'w defnyddio i'r peth a welo yn fwyaf anghenrheidiol .. | 5 | 0 | 0 |
| Dysgwylfa, Arfon, Blwch Cenadol dosbarth Mr. R. R. Jones ............... | 0 | 14 | 1 |
| W. Owen, Colwyn Bay, tuag at gapel Jiwai ........................ | 1 | 0 | 0 |
| Ychydig gyfeillesau yn Bettws y coed, sydd yn caru llwyddiant yr achos cenadol, at y tô haiarn ................. | 0 | 10 | 0 |
| "A," Bettws y coed .................. | 1 | 0 | 0 |
| Princes Road, Liverpool (ychwanegol) .. | 1 | 10 | 0 |
| "D." Dinbych ........................ | 1 | 0 | 0 |
| Jonathan, tuag at y tô haiarn ar gapel Jiwai ............................ | 0 | 10 | 6 |
| Eto tuag at ail-adeiladu ysgoldy Shillong | 0 | 10 | 6 |
| Y Parch. T. Gee, Dinbych, i'w defnyddio gan Mr. Jerman Jones fel y gwelo efe yn oreu ............................ | 1 | 0 | 0 |

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 625.] TACHWEDD, 1882. [LLYFR LII.

## PA FODD I WRANDO.

GAN Y PARCH. J. HUGHES, M.A., MACHYNLLETH.

LUC viii. 18: "Edrychwch am hyny pa fodd y clywoch."

MAE dammeg yr hauwr, mewn cysylltiad â pha un y llefarwyd y geiriau uchod gan ein Harglwydd Iesu Grist, yn ddesgrifiad o'r gwahanol ddosbarthiadau o wrandäwyr yr efengyl, ac yn dangos y pwysigrwydd o wrando yn iawn. Y mae yr hâd yn dwyn ffrwyth yn ol natur y tir oedd yn ei dderbyn, neu yn ol natur y gwrandawiad a roddid iddo. Ac o herwydd hyn y mae amcan ymarferol y ddammeg yn cael ei gyflwyno ger bron yn y geiriau uchod.

Wrth lefaru trwy ddammegion yr oedd gan Iesu amcan i ddidoli ei wrandäwyr, i gymhell gwrandawiad mwy astud ac ymofyngar yn y rhai diragfarn, ac i geryddu y rhai oeddynt, trwy ragfarn at Berson y Dysgawdwr mawr, hyd yn hyn wedi caledu eu calonau yn wirfoddol yn erbyn y gwirionedd. Yr oedd effaith y dammegion fel symudiad newydd yn null yr Arglwydd o bregethu i'r bobl yn dibynu felly ar y modd y gwrandewid hwynt. Yr oedd yn symbyliad i wrandäwyr cywir a difrifol, y rhai a wrandawent ar y Pregethwr mawr gydag amcan teg i'w ddeall; ac y mae yn ddiammheu eu bod yn fantais fawr iddynt. Yr oeddent yn gymhorth mawr i'r côf; a thrwy gyflwyno y gwirioneddau mawrion ger eu bron mewn modd tarawiadol a bywiog, cymhellent eu hunain yn barhâus i sylw a myfyrdod y dosbarth symlaf a mwyaf diragfarn o'r gwrandäwyr. Dyma oedd yr effaith ar y dysgyblion Cynnyrchodd ysbryd ymofyngar ynddynt; symbylodd hwynt i chwilio i mewn i'w hystyr; ac nis gallasant orphwys nes iddynt ddyfod at yr Iesu â'r ymofyniad "Pa ddammeg yw hon?" Yr oedd y ddammeg mor dryloew fel nad oedd eisieu ond sefyll uwch ei phen mewn mynyd o fyfyrdod tuag at ddeall nad ydoedd ond arweiniad i mewn i wirionedd ysbrydol ac i bwy bynag o wrandäwyr yr Iesu a ewyllysiai ddeall ei Berson a'i weinidogaeth yr oedd y ddammeg yn agor drws ëang o'u blaen. Ond ar ddosbarth arall o wrandäwyr yr oedd yr effaith yn wahanol. Y mae yr Iesu yn rhoddi ar ddeall i'w ddysgyblion fod ei waith yn dewis y dull hwn yn gerydd ac yn farn arnynt am eu dallineb ysbrydol (Matth. xiii. 10—15).

Gallwn gasglu oddiwrth yr Efengylau fod yr Iesu wedi dechre ei weinidogaeth mewn iaith syml ac eglur, yn cyflwyno amcan ei ddyfodiad a natur ei weinidogaeth yn uniongyrchol ger bron y bobl mewn ymadroddion byrion a chynnwysfawr, megys "Edifarhewch, canys nesäodd teyrnas Dduw." Y mae yn dra thebyg fod y Bregeth ar y Mynydd yn cynnwys sylwedd, o ran mater a ffurf, y rhan gyntaf o'i weinidogaeth. A phan newidiodd y dull hwn am y dammegion, yr oedd y cyfnewidiad mor amlwg fel ag i dynu sylw y dysgyblion, a pheri iddynt ofyn rheswm am dano. "A daeth y dysgyblion ac a ddywedasant wrtho, Paham yr wyt ti yn llefaru wrthynt trwy ddammegion?" Ac yn ei atebiad, dengys yr Arglwydd fod barn yn gystal a thrugaredd yn rheswm am dano. I'r

anystyriol a'r anghrediniol, y rhai a wrandawsant ar ran gyntaf ei weinidogaeth, ac a gauasant eu llygaid yn wirfoddol yn erbyn y goleuni, yr oedd y ddammeg yn llèn ar y gwirionedd. Yr oeddynt wedi gwrando â'u clustiau yn drwm, ac wedi cau eu llygaid yn erbyn y gwirionedd syml fel y cyfeiriwyd ef at eu cydwybodau gan y Prophwyd mawr; ac yn awr y mae y gwirionedd yn dyfod atynt wedi ei selio mewn dammeg. Ond yr oedd trugaredd yn gystal a barn yn yr orchwyliaeth; canys yr oedd wedi ei selio mor ysgafn fel nad oedd raid ond edrych arno â chalon hawddgar nag y byddai y sêl yn toddi, a'r llèn yn ymrwygo, a'r gwirionedd Dwyfol yn cymeryd meddiant o'r galon. Y ddammeg gyntaf a lefarwyd oedd dammeg yr hauwr, yr hon sydd yn fath o ragymadrodd i'r holl ddammegion eraill, ac yn hynod o naturiol a tharawiadol i wasanaethu fel arweiniad i mewn i'r dull newydd yr oedd yr Iesu yn bwriadu ei ddefnyddio bellach wrth ddysgu y bobl. Pwnc y ddammeg ydyw y pwysigrwydd o wrando yn briodol; ac fel y cyfryw y mae ei hamcan ymarferol yn gael ei osod ger ein bron yn y geiriau, "Edrychwch pa fodd y clywoch." Y mae y geiriau felly yn cynnwys galwad difrifol arnom i wrando yr efengyl mewn ysbryd priodol.

Y mae dylanwad y weinidogaeth arnom yn dibynu ar y modd yr ydym yn gwrando. Nid ydyw yr efengyl yn achub dynion trwy ryw swyngyfaredd. Nid ydyw dylanwad achubol Ysbryd Duw yn yr efengyl yn gweithredu yn ddiddeddf,—yn dewis y naill wrandäwr, ac yn gwrthod y llall, mewn modd penrhydd a direol; canys y mae rhyw deleran neillduol yn cael eu cynnyrchu mewn dynion â'u gwnant yn wrthddrychau cymhwys i dderbyn yr efengyl. Nid chwareu damwain, nid *lottery*, nid siawns, sydd yn penderfynu llwyddiant gweinidogaeth y cymmod ar y bobl. Y mae yn wirionedd fod yr Ysbryd yn chwythu lle y myno, a pha bryd y myno; ond y mae y geiriau hyn yn cyfeirio yn fwy at ddirgelwch ei weithrediadau nag at eu hafreoleidddra. Nid ydyw y gwynt ysbrydol hwn, mwy na'r gwynt naturiol, yn ddiddeddf. Pan y mae yr Ysbryd Glân yn gweithredu ar galonau pechaduriaid trwy weinidogaeth yr efengyl, nid ydyw yn anhawdd canfod arwyddion o'i ddyfodiad yn ysbryd y dyn sydd yn derbyn y cyfnewidiad. Cyn i Nathanael gael gafael ar y Messïah, yr oedd o dan ryw ffigysbren, a'i feddwl yn rhedeg yn nghyfeiriad yr addewidion am dano; ac yr oedd llygad y Ceidwad arno yn y fan hono. Cyn i'r alwedigaeth ddyfod ato yn effeithiol trwy enau Phylip, yr oedd wedi parotoi ei hunan i wrando ac ufuddhâu iddo trwy ei fyfyrdod o dan y ffigysbren; canys yr oedd yno fel Israeliad yn wir yn ymofyn yn ddidwyll am dangnefedd yr Israel. Felly cyn y daw gweinidogaeth yr efengyl atom fel galwad effeithiol oddiwrth Dduw, y mae yn rhaid fod y meddwl mewn ystâd neillduol i wrando arni. Nid ydyw yr efengyl yn beth mor ddiddeddf fel ag i droi yn y pregethiad o honi yn fywyd yn eneidiau ei gwrandäwyr heb fod yno ryw gyfaddasder wedi ei ddwyn oddiamgylch yn eu meddyliau ar ei chyfer.

Nid rhywbeth cyfnodol sydd yn gweithredu mewn amser o ddiwygiad ar grefydd yn unig ydyw dawn yr Ysbryd Glân mewn achub. Y mae lle i ofni ein bod yn edrych yn ormodol ar y diwygiadau grymus a fu yn ein gwlad fel cyfnodau sydd yn amlygiad o weithrediadau arbenig yr Ysbryd Glân, gwahanol o ran ei natur i'r hyn sydd yn bresennol yn ngweinidogaeth yr efengyl bob amser; ac y mae gyda ni le i feddwl fod llawer yn ein cynnulleidfäoedd yn aros am yr ymweliadau cyfnodol hyn, fel yr oedd y cleifion ar làn llŷn Bethesda yn dysgwyl am ddisgyniad yr angel oedd i gynhyrfu y dyfroedd. Ond y mae hyn yn gamsyniad, ac yn gamddefnydd o flynyddoedd deheulaw y Goruchaf. Yr un Ysbryd sydd yn gweithio mewn amser o ddiwygiad, ond ei fod yn gweithio yn fwy grymus, ag sydd yn gweithredu yn yr eglwys bob amser. Yr un dylanwad ydyw ag sydd bob amser yn bresennol, pan y mae dynion wedi dyfod at eu gilydd yn enw Crist i wrando yr efengyl, ond yn unig ei fod yn amlygu ei hunan mewn modd mwy nerthol. Gelwir y gweithrediadau nerthol hyn yn yr Ysgrythyrau yn "dywalltiad o'r Ysbryd Glân." Rhywbeth nerthol a grymus ydyw, yn ymdywallt ar y wlad —yn llenwi pob nant, ac aber, ac afon, nes y mae y llifeiriant yn gorchuddio y tir, ac yn ysgwrio pob dyffryn a dôl o

aflendid llawer oes. Felly yr oedd y diwygiadau nerthol y darllenwn am danynt yn hanes yr eglwys. Tywalltiadau o'r Ysbryd oeddynt nes oedd pob eglwys a chynnulleidfa yn dwrf gan y llifeiriant, a'r wlad yn cael ei hysgubo ben bwygilydd. Ond y mae Gair Duw yn gwneyd crybwylliad am "ddyhidlo gwlaw graslawn ar etifeddiaeth yr Arglwydd," ac am yr "Hwn sydd fel y gwlith i Israel;" yr un dylanwad a'r un Person mawr yn cario ei waith ymlaen mewn modd mwy dystaw, ond llawn mor effeithiol—yn aileni ac yn dyddanu y saint nid mewn twrf ond mewn dystawrwydd; yn disgyn nid fel cawod o wlaw taranau, pan y mae mellt diwygiad yn fflachio trwy y wlad, ond fel cawod o wlaw mân ar ddiwrnod tawel, neu fel y gwlith yn disgyn yn y nos, yr hwn ni ŵyr dyn oddiwrtho, yn ddylanwad tawel, digynhwrf, ond eto effeithiol. Y mae y dylanwad Dwyfol hwn yn ein plith fel cynnulleidfäoedd yn y dyddiau hyn, yn aflonyddu y byd ac yn adeiladu yr eglwys. Ni ddylai neb aros am adeg o ddiwygiad, gan feddwl fod yn hawddach credu yna yn Nghrist nag ar yr adeg bresennol; y mae'r dylanwad sydd yn achub yn ein mysg bob amser. Y mae geiriau yr Iesu yn ngweinidogaeth yr efengyl yn ysbryd ac yn fywyd; hwn ydyw hâd anllygredig y bywyd ysbrydol a thragywyddol; a "hwn yw y gair a bregethir i chwi." Nid oes eisieu dim ond derbyn yr impiedig air, ac fe ddichon, heb unrhyw gynhwrf, gadw ein heneidiau.

Y mae'r weinidogaeth yn tybio fod dynion yn rhoddi astudrwydd yn y gwrandawiad o honi. "Y neb sydd ganddo glustiau i wrando, gwrandawed," meddai yr Iesu, gyda phwyslais amlwg. 'Y mae dylanwad fy ngeiriau,' fel pe dywedasai, 'yn dibynu ar y gwrandawiad a roddir iddynt.' Ofer pob gweinidogaeth, ofer pob gair, os na chaiff ei wrando yn briodol. "Ffydd sydd trwy glywed, a chlywed trwy air Duw;" ac os na wrandewir y gair gydag astudrwydd a difrifoldeb, y mae gweinidogaeth yr efengyl fel moddion i achub yn myned yn ofer. Y mae bywyd tragywyddol wedi ei ddwyn mor agos atom, fel ag i orphwys yn hollol ar y modd y mae y naill ddyn yn gwrando ar y llall. Y mae hyn yn rhoddi urddas arbenig ar y weinidogaeth, ac yn dangos y pwysigrwydd o wrando yn iawn —y gall dyn wrth wrando ar ei gyddyn gydag astudrwydd priodol, gael mynediad i mewn i fywyd ysbrydol a thragywyddol. Y mae y peth sydd yn achub yn agos iawn at y gwrandäwyr. "Na ddywed yn dy galon, Pwy a esgyn i'r nef? (hyny yw, dwyn Crist i waered oddiuchod), neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? (hyny yw, dwyn Crist drachefn i fyny oddiwrth y meirw.) Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd wrthyt? Mae y gair yn agos atat." Y mae bywyd tragywyddol y dyn yn gorphwys ar ei fod yn gwrando ar rywbeth sydd yn cael ei ddywedyd wrtho, ar ryw air sydd yn agos ato. Mor agos atom y mae'r bywyd! Mor hawdd ydyw i'r pechadur feddiannu cadwedigaeth! Y mae yn dibynu yn gyfangwbl ar y modd y mae yn rhoddi gwrandawiad i air y cymmod. Mor bwysig, gan hyny, ydyw yr alwad sydd arnom yn y geiriau hyn, "Edrychwch pa fodd y clywoch."

Y mae diffrwythder y weinidogaeth yn y dyddiau hyn yn Nghymru yn codi oddiwrth y diffyg o wrandawiad priodol. Byddai o angenrheidrwydd yn fwy effeithiol i ddychwelyd, pe caffai cynghor y geiriau "Edrychwch pa fodd y clywoch" fwy o sylw. Y mae lle i ofni fod pregethu wedi myned, i ddosbarth lliosog o wrandäwyr Cymru, yn ddim byd mwy nag adloniant. Y mae yn sicr o fod yn glod mawr i'n cenedl fod y pulpud mewn cymaint o fri genym; y mae yn ddiammheuol fod pregethu yn fwy o *recreation* i'r Cymry nag un genedl ar wyneb y ddaear. Nis gwyddom am ddim y gellir ei gymharu iddo yn yr ystyr hwn ond y *drama* ymysg y Groegiaid. Yr oedd y *theatre* ymysg y Groegiaid yn gwasanaethu yr holl amcanion ymarferol y mae y pulpud cristionogol wedi ei gyrhaedd ymysg cenedloedd Cristionogol, a gadael allan o'u hystyriaethau yr efengyl fel gallu Dwyfol i achub. Nis gellir cymharu yr efengyl â dim a fu yn y byd, nac â dim fydd ynddo chwaith; "canys gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth." Yn yr ystyr hwn mae hi yn sefyll ar ei phen ei hun, ar wahân oddiwrth bob peth. Ond y mae yr ordinhâd o bregethu yr efengyl, yn ychwanegol at ei hamcan uchaf o achub dynion, yn sefydliad cymdeithasol pwysig, ac yn cyrhaedd llawer o

is-amcanion wrth gyrchu at ei hamcan uchaf. Pan nad ydyw y weinidogaeth gristionogol yn foddion i achub dynion, y mae hi yn ddylanwad cymdeithasol pwysig i ddyrchafu chwaeth foesol cenedl, ac i gyfranu addysg ar y pethau pwysicaf sydd yn perthyn i fywyd dyn. Yn yr ystyr hwn y mae dylanwad y wasg yn fawr; ond ar ol rhoddi pob ystyriaeth i'w hawliau, yr ydym yn meddwl y bydd pob dyn meddylgar yn rhoddi y flaenoriaeth i'r pulpud.

A phan roddwn ystyriaeth i'r pulpud fel dylanwad i buro chwaeth, ac fel moddion addysg mewn moesoldeb, ac yn y gwirioneddau crefyddol hyny sydd yn deimlad byw yn enaid pob dyn, y mae wedi bod yn fwy o ddylanwad yn Nghymru nag ymysg un genedl ar wyneb y ddaear. Ac fel yr oedd y *Greek drama* yn sefydliad cenedlaethol pwysig, yn foddion i gadw yn fyw yn y genedl barch crefyddol yn gystal a chwaeth lenyddol, felly hefyd y mae'r pulpud wedi bod yn Nghymru.

Dealled y darllenydd unwaith eto nad ydym yn cymharu yr efengyl â dim ymysg y Groegiaid, ond y pulpud, yn ei ddylanwad dynol a chymdeithasol, âg un o brif sefydliadau cymdeithasol y Groegiaid. A gadael allan o'n hystyriaethau yr amcanion ysbrydol uchel sydd wedi eu cyrhaedd gan y weinidogaeth yn ein gwlad—y miloedd eneidiau a ddygwyd i afael bywyd tragywyddol —y mae'r pulpud fel dylanwad cymdeithasol, ac fel sefydliad i ddyrchafu moesoldeb ac i buro chwaeth y genedl, wedi bod yn fwy o allu yn Nghymru nag odid un wlad arall. I'r Cymro y mae pregethu yn cyfranogi yn fwy o natur y *fine arts* nag ydyw i'r un dyn arall; ac y mae pregethwr mawr yn cyfuno yn aml yn ei feddwl a'i deimlad ef effeithiau adloniadol y bardd a'r cerddor. Mae ein cymydogion yn deall erbyn hyn mai pregethu ydyw prif *recreation* y Cymry. Dylem lawenhâu fod y weinidogaeth yn gymaint o ddylanwad yn ein gwlad; ond dylem lawenhâu mewn dychryn rhag ofn iddi fod yn ddim ond adloniant—rhag ofn i'r hyn a fwriadwyd i fod yn foddion achubiaeth a bywyd ysbrydol i'r bobl gael ei ddarostwng i fod yn ddim amgen na *recreation* ac *excitement* meddyliol iddynt. Mae lle i ofni mai hyn yn unig ydyw y weinidogaeth i ddosbarth lliosog yn ein gwlad, fel y bobl y sonia y prophwyd am danynt, "fel cân cariad un hyfrydlais ac yn canu yn dda, canys gwrandawant y geiriau ond nis gwnânt." Y mae meddyliau a dawn y pregethwr yn eu swyno, ac yn gweinyddu moddion adfywiad deallol iddynt; a chyda llawer iawn o graffder a deheurwydd, beirniadant y pregethwr; ac wedi boddloni eu hunain gyda golwg ar y dosbarth y perthyna iddo, y mae y gwrando yn dybenu gyda hyn, heb i'r syniad fod y bregeth, beth bynag ydyw ei diffygion fel cyfansoddiad, yn dal perthynas â'u cadwedigaeth bers n-ol, fod wedi dyfod i'r meddwl o gwbl. Fel hyn y mae yr ordinhâd o bregethu, trwy yr hon y gwelodd Duw yn dda achub y rhai sydd yn credu, yn cael ei darostwng i safle sefydliad dynol; yn haeddu sylw a beirniadaeth fel pob sefydliad arall, ond dim gwarogaeth oddiwrth y galon a'r gydwybod.

Nid ydym yn cweryla âg ysbryd beirniadol y gwrandäwyr. Nid ydym yn meddwl fod y pregethwr i fod uwchlaw beirniadaeth. Yn hytrach, nid oes dim yn rhoddi mwy o hyfrydwch iddo na phregethu i gynnulleidfaoedd deallus a meddylgar. Y mae gan feirniadaeth ddeallus a chywir ei lle priodol. Mae hi yn ddyrchafiad i'r cynnulleidfaoedd, ac yn amddiffyniad i'r pulpud. Ond yr hyn a'n blina ydyw, fod ein gwrandäwyr yn eu hanghofio eu hunain yn y gwaith meddyliol, ac, o fewn terfynau priodol, y gwaith angenrheidiol, o feirniadu y pregethwr—fod gwaith y deall mewn beirniadu yn cael sefyll ar ffordd gwaith y galon i deimlo a'r ewyllys i ufuddhâu—fod beirniadaeth ar ffurf ddynol y genadwri yn rhwystro llawer yn ein cynnulleidfaoedd i roddi ystyriaeth ddifrifol a chadwedigol i'w chynnwys Dwyfol fel gweinidogaeth y cymmod. Fel y cyfryw, mae beirniadaeth yn sefyll ar ffordd iachawdwriaeth y bobl, ac yn un o'r pethau sydd gan dduw y byd hwn i ddallu meddyliau y rhai digred. Y mae anghen mwy o feirniadaeth y galon a'r gydwybod yn ein gwrandäwyr yn y dyddiau hyn, yn gweithredu ar gynnwys Dwyfol y weinidogaeth fel cenadwri oddiwrth Dduw, ac nid boddloni, fel y mae llawer o honynt, ar feirniadaeth y deall yn unig—ar y ffurf sydd yn cael ei rhoddi i'r genadwri gan feddyliau ac iaith y pregethwr.

Nid ydym heb eiu hofnau fod y weinidogaeth ei hun yn y dyddiau hyn i raddau yn gyfrifol am y duedd sydd mewn llawer o'n gwrandäwyr i edrych ar bregethu fel *entertainment*, ac nid fel ordinhâd a fwriadwyd i achub y rhai sydd yn credu. Onid ydym yn gweled arwyddion, mewn llawer o'r pregethau a draddodir, fod yr elfen adloniadol mewn pregethu yn cael gormod o sylw, ar draul esgeuluso yr elfen argyhoeddiadol? Yn meddyliau lliaws mawr o bregethwyr, y mae y ddwy elfen fel yr efeilliaid yn ymdrechu â'u gilydd am yr enedigaeth-fraint; ac mewn llawer iawn o bregethau nid ydyw yr elfen argyhoeddiadol yn ymddangos ond o'r braidd, fel Jacob yn ymaflyd yn sawdl ei frawd. Yr ydym fel pregethwyr yn rhy barod i golli golwg ar y bregeth fel cenadwri oddiwrth Dduw at eneidiau, ac yn rhy dueddol i edrych yn unig arni fel gwaith celfyddyd—*work of art*, fel yr edrycha y bardd ar ei bryddest, neu y cerddor ar ei *oratorio*. Ac o herwydd hyn, o bosibl, y mae yr ysbryd sydd yn aml yn uchaf yn y pulpud yn cynnyrchu ei debyg yn y gwrandäwyr; ac os dywedwn fod y cynnulleidfaoedd yn ddiffygiol o'r ysbryd priodol i wrando, ofnwn y gallant daflu y bêl yn ôl atom, a dyweyd ein bod ninnau, i fesur, yn ddiffygiol o'r ysbryd iawn i bregethu. Ni a gymerwn yr addysg gyda'r un ysbryd ag yr ydym yn barod i'w gyfranu. Pell fyddo y dydd oddiwrth Gymru pan fydd gweinidogaeth yr efengyl wedi colli ei hawdurdod a'i hawch fel cenadwri Ddwyfol—pan yr edrychir arni gan y bobl yn unig fel adloniant. Cadwed Duw ei amddiffyn ar y gogoniant hwn yn ein gwlad; a rhodded i'r Cymry tra paro y byd genadon wedi eu gwisgo â nerth o'r uchelder.

Yr ydym i fesur wedi gwyro oddiwrth y pwnc y cychwynasom gydag ef. Ein bwriad oedd gwneyd ychydig o sylwadau ar y dull priodol o wrando yr efengyl, a rhoddi addysg i wrandäwyr; ond dyma ni, yn anymwybodol, trwy ryw ddylanwad nad ydym fe allai yn gyfrifol am dano, wedi troi i siarad â'r pulpud, ac wedi cymeryd yr hyfder o roddi addysg i bregethwyr, yr hyn nad ydym mewn modd yn y byd yn gymhwys iddo. Maddeued y darllenydd, maddeued fy mrodyr, i mi yr anweddeidd-dra hwn. Awn rhagom, bellach, i siarad â'r gwrandäwyr, ac i gyflwyno ger eu bron y cynghor, "Edrychwch pa fodd y clywoch."

I. Edrychwch fod ynoch, wrth ddyfod ynghyd i wrando yr efengyl, ymdeimlad dwys o Ddwyfol awdurdod yr efengyl. Tuag at wrando yn iawn, rhaid i ni wrando yr efengyl, nid fel y mae yn air dyn, ond fel y mae yn wir yn air Duw. Dyma un o ammodau cyntaf y cyflwyniad priodol o'r efengyl ger bron y bobl: rhaid i'r pregethwr feddu crediniaeth gadarn a theimlad dwys o Ddwyfoldeb y genadwri. Ofer pob dysgeidiaeth, ofer pob dawn, heb hyn. Fe deimla cydwybodau y gwrandäwyr nad ydyw heb hyn yn ddim ond chwareuwr; a hwy a syrthiant ar unwaith i'r ysbryd oer a gwenwynllyd y cyfeiriasom ato eisoes. Fe wna crediniaeth o Ddwyfoldeb ei genadwri, yn cael ei hamlygu mewn teimlad difrifol, i fyny am lawer o ddiffygion mewn dyn; ond nis gall dim wneyd i fyny am y diffyg o hwn. Dyma oedd cuddiad cryfder a dirgelwch llwyddiant llawer o'r hen bregethwyr. Nid oeddynt mor ddysgedig, nac yn fwy galluog, na phregethwyr yr oes hon. Y mae yn llawenydd mawr ac yn galondid nid bychan i bregethwyr yr oes hon glywed tystiolaeth ambell hen swyddog deallus, a wrandawodd lawer ar y cewri oedd ar y ddaear yn yr oes o'r blaen, fod y weinidogaeth yn y dyddiau hyn yn llawn mor feddylgar a galluog ag y bu hi erioed. Ond os oedd rhywbeth yn codi yr hen bregethwyr i dir uwch na phregethwyr yr oes hon, mae yn ddiammheuol mai eu crediniaeth ddiysgog a'u teimlad difrifol o Ddwyfol awdurdod yr efengyl fel gair oddiwrth Dduw at y bobl oedd yn gwneyd hyny. Hyn oedd dirgelwch eu nerth a chuddiad eu cryfder.

Fel am bregethu, felly hefyd am wrando yn briodol: dyma un o'r telerau cyntaf — ymdeimlad dwfn fod gweinidogaeth yr efengyl yn genadwri Ddwyfol atom. Yn y gynnulleidfa gyntaf a wrandawodd ar yr efengyl ymysg y Cenedloedd, y mae yr ysbryd priodol i wrando yn cael ei osod ger ein bron yn ngeiriau Cornelius wrth Pedr, "Yr awrhon gan hyny yr ŷm ni oll yn bresennol ger bron Duw, i wrando yr holl bethau a orchymynwyd i ti gan Dduw." Nid rhyfedd i'r Ysbryd Glân ddisgyn ar y bobl cyn

diwedd y cyfarfod, ac i'r holl gynnulleidfa gael ei dychwelyd. Gair oddiwrth Dduw at y bobl ydyw yr efengyl. Pa ddiffygion bynag sydd yn ffurf y genadwri, nis gall hyn ddinystrio ei chynnwys Dwyfol, na chyfrifoldeb y gwrandäwyr wrth ei gwrando. Tystiolaeth Duw am ei Fab ydyw: "Canys hyn yw tystiolaeth Duw, yr hon a dystiolaethodd efe am ei Fab." O herwydd hyn nis gellir ei gwrando yn iawn heb gredu a theimlo awdurdod Duw sydd yn siarad yn yr efengyl. Mae hyn mor bwysig fel yr ydym yn cael y prophwydi yn gosod hyn ymlaenaf yn eu gweinidogaeth. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd" ydoedd yr *alarm* a seinient bob amser pan oeddent am ennill gwrandawiad y genedl; ac wedi traethu eu cenadwri, gorphenent yn yr un man, gan selio eu tystiolaeth â'r geiriau, "Canys genau yr Arglwydd a lefarodd hyn." Fel gair Duw y mae yr efengyl yn achub, ac y mae yn rhaid iddi gael ei gwrando fel y cyfryw tuag at iddi wneyd hyny.

Dyma y rheswm fod y weinidogaeth yn y dyddiau hyn yn anfuddiol gyda golwg ar gynifer o'n gwrandäwyr. "Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai â'i clywsant." Ac wrth gyd-dymheru y gair â ffydd, yr ydym i olygu rhoddi ystyriaeth ddwys a myfyrgar i'r gair fel cenadwri oddiwrth Dduw. Y mae gwrando gan gyd-dymheru yr hyn a wrandewir â ffydd yn ei Ddwyfol awdurdod yn ei wneyd yn fywyd i'r dyn. Dyma yr hyn sydd yn gwneyd y weinidogaeth yn rhinweddol—yn rhywbeth heblaw gair sydd yn gogleisio dyn fel creadur meddylgar a chymdeithasol—yn fwy na mwynhâd deallol—yn air âg awdurdod ynddo i ddryllio llyffetheiriau yr enaid. Dyma sydd yn gwneyd y bregeth leiaf yn broclamasiwn Dwyfol i'r enaid. Ni waeth beth fyddo y weinidogaeth o ran gallu a dysgeidiaeth os na fydd yn y gwrandäwyr deimlad o honi fel cenadwri oddiwrth Dduw. Gall fod yn ddylanwad i'w diwyllio a'u difyru; ond yn foddion i'w hachub nis gall fod. Edrychwch gan hyny eich bod yn gwrando gydag argyhoeddiad dwfn fod yr efengyl yn air Duw, yn genadwri Ddwyfol. Llafuriwch, cyn dyfod ynghyd i wrando, am yr argyhoeddiad a'r teimlad hwn; ceisiwch ddwyn eich meddyliau i agwedd gyfaddas tuag at yr efengyl fel cenadwr oddiwrth Dduw.

II. Edrychwch eich bod yn gwrando drosoch eich hunain, gan deimlo fod yr efengyl yn air oddiwrth Dduw atoch chwi yn bersonol. Mae a fyno y weinidogaeth â phob un o honoch yn bersonol. Y mae eich hadeiladaeth, eich sancteiddhâd, eich defnyddioldeb yn y byd hwn, a'ch bywyd tragywyddol yn yr hwn a ddaw, yn dibynu ar y modd yr ydych yn gwrando y gair fel cenadwri atoch chwi yn bersonol. Pan ddaeth Nathan at Dafydd i'w argyhoeddi am ei bechod, pan yn llefaru mewn dammeg yr oedd y brenin yn gwrando dros eraill, ac yn ei chymhwyso at ryw berson dychymygol oedd yn bechadur mawr yn ei olwg; ond pan gyfeiriodd y prophwyd y ddammeg ato ef yn bersonol yn y geiriau llym a tharawiadol, "Tydi yw y dyn," efe a edifarhaodd. Nid trwy ddammegion y mae argyhoeddi pechadur; fe wêl bawb yn y ddammeg ond efe ei hun; ni chymer sill na gair o honi yn gymhwysiadol ato ef ei hun. Felly y mae dynion yn aml yn gwrando yr efengyl—fel ar ryw ddammeg sydd yn perthyn i rywun arall, ac nid iddynt hwy yn bersonol; ac o herwydd hyny y maent yn aros trwy y blynyddoedd yn ddyeithr i'w bendithion. Ond nid dammeg mo honi, sydd yn desgrifio cyflwr rhyw ddyn arall; na, tydi yw y dyn. Pan ddesgrifia y pregethwr gyflwr pechadur euog o dan gondemniad y ddeddf, heb obaith ganddo ac heb Dduw yn y byd, yn meddiant y tywyllwch ac mewn caethiwed i'r diafol, o dan felldith yn y byd hwn, ac yn agored i lid a digofaint yn yr hwn a ddaw—nid arall, ond tydi yw y dyn, os ydwyt yn annuwiol. A phan ddesgrifia wynfyd y sant a diogelwch y credadyn fel yr hwn sydd yn Nghrist, a'i fywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw, yr awrhon yn un o feibion Duw, a phob peth yn cydweithio er ei ddaioni, beth bynag ydyw ei sefyllfa, yn etifeddu pob peth yn y byd hwn, ac yn edrych ymlaen gyda gobaith gwynfydedig am etifeddiaeth anllygredig, dihalogedig, a diddiflanedig yn y nefoedd; nid arall, ond tydi, yw y dyn, os wyt yn dduwiol. Gwrando dithau drosot dy hun, a phaid rhedeg y perygl o golli dy enaid wrth gymhwyso y ddammeg at rywun arall.

Mae y gwrando personol yma yn brin iawn; a dyma un rheswm fod y weinidogaeth yn aneffeithiol i achub. Y mae lle i ofni fod dynion yn ein cynnulleidfaoedd nad ydynt erioed wedi gwrando yn y dull hwn drostynt eu hunain. Dyma ydyw cymeriad y gwrandäwr anghofus, fel y portreadir ef gan Iago: "Oblegid os yw neb yn wrandäwr y gair, ac heb fod yn wneuthurwr, y mae hwn yn debyg i ŵr yn edrych ei wynebpryd naturiol mewn drych, canys efe a'i hedrychodd ei hun, ac a aeth ymaith; ac yn y man efe a anghofiodd pa fath ydoedd." Mae y dyn yn anghofio mai efe ei hun oedd yn cael ei bortreiadu yn nrych y weinidogaeth, ac felly gadawa y geiriau yn ddisylw, fel pethau sydd yn perthyn i rywun arall, ac nid iddo ef ei hun. Y mae elfenau bywyd yn yr awyrgylch, ond y mae yn rhaid i ni, trwy weithrediad yr ysgyfaint *(lungs)*, wneyd cymhwysiad personol o hono atom ein hunain. Heb hyn, ni waeth i ni yn y byd pa mor bur ydyw yr awyr, na pha mor iach ydyw y wlad. Felly y mae defnydd bywyd ysbrydol yn ngweinidogaeth yr efengyl; ond y mae yn rhaid i'r gwrandäwyr wneyd cymhwysiad personol o hono atynt eu hunain. "Pa beth a wnâf fel y byddwyf cadwedig?" meddai ceidwad y carchar, pan deimlodd fod gweinidogaeth Paul a Silas yn beth personol iddo ef. "Ha wŷr frodyr, pa beth a wnawn ni?" oedd iaith yr Iuddewon ar ddydd y Pentecost, pan ddwysbigwyd hwynt yn eu calonau, a phan deimlasant weinidogaeth Pedr fel peth yn perthyn iddynt hwy yn bersonol. Fe glywid yr un ymadroddion, ac fe welid yr un effeithiau, yn amlach yn ein cynnulleidfaoedd yn y dyddiau hyn pe gwrandawai y bobl drostynt eu hunain, a phe teimlent fod yr efengyl yn air oddiwrth Dduw atynt hwy yn bersonol. Ymdrechwn gan hyny i ddwyn ein calonau i deimlo ein perthynas bersonol â gweinidogaeth yr efengyl—ein bod ger bron Duw yn gwrando yr hyn sydd gan Dduw i'w ddywedyd wrthym. Gallwn fod yn sicr, pan fyddwn wedi ymgynnull at ein gilydd i wrando yr efengyl, pwy bynag fydd y genau, fod gair gan Dduw i'w ddywedyd wrthym; ac nis dylem orphwys yn ein meddyliau nes ei ddeall a'i dderbyn. Mae cynghor y duwiol George Herbert yn deilwng o'i ailadrodd:—

"Judge not the preacher, for he is thy judge;
If thou mislike him, thou conceiv'st him not.
God calleth preaching folly. Do not grudge
To pick out treasures from an earthen pot;
The worst speak something good; if all want sense,
God takes a text and preacheth patience."

Dyma un peth sydd yn cael ei grybwyll fel yn nodweddu gwrandäwyr y tir da: "A'r hwn ar y tir da yw y rhai â chalon hawddgar a da ydynt yn gwrando y gair ac yn ei gadw, ac yn dwyn ffrwyth trwy amynedd." Y maent yn ei gadw fel rhywbeth sydd yn perthyn yn bersonol iddynt hwy; a'r canlyniad yw fod y gair yn aros ynddynt ac yn dwyn ffrwyth i fywyd tragywyddol. Y gair sydd yn cael ei gadw genym yw y gair sydd yn ein bendithio; y gair sydd yn aros ynom ydyw yr hâd anllygredig.

Dyma mewn gwirionedd ydyw ffydd: y gras hwnw sydd yn derbyn cenadwri yr efengyl fel peth personol i'r dyn ei hun. Nid gweithred o eiddo y deall yn unig ydyw, ond gweithred sydd yn cynnwys ynddi yr oll o'r dyn yn ei ddeall, ei ewyllys, a'i deimlad. Y mae y weithred o gredu yn Nghrist yn crynhoi i fyny iddi ei hun holl bersonoliaeth y dyn, ac yn derbyn yr efengyl fel trefn Duw i gyfiawnhâu y person yn haeddiant Person arall. Wrth gredu y mae dyn yn teimlo ei hun yn bechadur colledig, yn teimlo fod Crist yr efengyl yn Geidwad ar ei gyfer ef yn bersonol, ac yn teimlo fod yr efengyl yn wahoddiad personol iddo ef i gredu ynddo. Mewn llawer cyfarfod y mae y naill wrandäwr yn cael ei gymeryd, a'r llall yn cael ei adael yn ei ymyl; un yn cael ei gadw, a'r llall yn aros yn ei gyflwr drwg; paham? am ei fod yn derbyn o'r hyn a ddywedir fel ei eiddo ef yn bersonol. A'r rheswm fod y weinidogaeth mor ddiffrwyth gyda golwg ar ddosbarth mor lïosog o'r gwrandäwyr ydyw diffyg y cymhwysiad personol hwn. "Edrychwch, gan hyny, pa fodd y clywoch." Gwyliwch arnoch eich hunain rhag bod yn ddifater mewn cymhwyso'r gair at eich cyflwr personol. Na adewch i un cyfleusdra, un bregeth, beth bynag fyddo ei chynnwysiad, fyned heibio heb eich bod trwy wrandawiad

astud a myfyrdod dwys yn sugno allan yr hyn sydd yn perthyn i chwi. Gwyliwch rhag i chwi adael y weinidogaeth i lifo heibio i chwi fel rhywbeth sydd yn perthyn i rywrai eraill ac nid i chwi. Mae dylanwad y weinidogaeth i'ch adeiladu a'ch sancteiddio yn dibynu ar y gwrandawiad personol hwn. Beth gwell fuasai yr Israeliaid fod dwfr yn pistyllio o'r graig, heb iddynt fyned at y graig i yfed? ac er fod y manna yn cwympo yn y gwersyll, yr oedd yn rhaid i bob un gasglu ei ddogn ei hun. Felly y mae yn rhaid i chwithau wneyd cymhwysiad personol o'r weinidogaeth atoch, ac onidê ni fydd yn weinidogaeth bywyd i chwi."

III. Edrychwch eich bod yn gwrando mewn ysbryd gweddïo — yn troi sylwadau y pregethwr, yn enwedig pan y mae ynddynt gyfaddasder personol, yn ddeisyfiadau ac yn weddïau. Mae llawer sylw a ddywedir yn myned yn ddifudd o ddiffyg hyn; ac y mae llawer sylw bychan ynddo ei hun, pan yn cael ei droi yn weddi gan yr enaid, yn chwyddo yn fawr iawn ar unwaith. Mae y Salmydd yn gwneyd crybwylliad am ryw adsain oedd yn ei galon i'r geiriau a ddywedodd Duw wrtho: "Pan ddywedaist, Ceisiwch fy wyneb, fy nghalon a ddywedodd wrthyt, Dy wyneb a geisiaf, O Arglwydd." Yr oedd lleferydd Duw wrtho yn ordinhadau crefydd yn cael eu hadseinio yn ol gan ei ysbryd; geiriau Duw yn y galon yn myned yn eiriau wrth Dduw. Dylai fod adsain tebyg yn ein calonau ninnau wrth wrando yr efengyl. Ac y mae yr ysbryd gweddigar hwn, sydd yn llefaru wrth Dduw pan y mae Efe yn llefaru wrthym ni yn ngweinidogaeth yr efengyl, yn gwisgo llawer pregeth egwan â grym. "Y mae yma ryw fachgenyn â chanddo bum' torth haidd a dau bysgodyn; ond beth yw hyny rhwng cynifer?" meddai y dysgyblion wrth yr Iesu. Ond beth a ddywedodd yr Athraw mawr, "Dygwch hwynt yma ataf fi;" ac y mae y torthau a'r pysgod yn dechreu lliosogi eu hunain ar unwaith pan y mae llygaid yr Athraw yn disgyn arnynt, ac y mae miloedd yn gweledda ar y glaswellt. "'Doedd dim llawer yn y bregeth heddyw," medd y bobl yn aml, gan gwyno o herwydd gweinidogaeth dlodaidd; "ychydig o feddyliau gwreiddiol, dim byd newydd," &c. Beth y mae yr Athraw yn ei ddywedyd wrthych? "Dygwch hwynt yma ataf fi." Os meddyliau egwan a bachgenaidd ydynt, "dygwch hwynt yma ataf fi." Os ydych am wneyd y bregeth, er mor egwan, yn gynnaliaeth ysbrydol, "dygwch hi yma ataf fi." Trowch y bregeth fechan a'r sylwadau eiddil yn ddeisyfiadau ac yn weddïau; ewch â hwynt i bresenoldeb Duw, daliwch hwynt o dan dywyniad ei orseddfainc; a hwy a ddychwelant i'ch eneidiau fel sŵn llawer o ddyfroedd yn hyawdledd Dwyfol i sancteiddio ac i achub. Dylem wrando â gwyneb yr enaid tuag i fyny mewn ysbryd gweddi, a thrwy hyny fe fydd geiriau y dyn yn cyrhaedd yr enaid wedi eu gwisgo â nerth Duw. Darllenwn yn y Bibl am un hen brophwyd wedi myned at ei gyhoeddiad, nid o'i fodd, ac yn traethu ei genadwri ymhell o fod yn yr hwyl goreu: ei bregeth yn fer ac yn hynod o daranllyd, heb ynddi y tywyniad lleiaf o efengyl; ond gwrandäwyd hi gan y gynnulleidfa liosog yn yr ysbryd goreu, a thröwyd hi yn weddi ac yn ddeisyfiad taer, gan y brenin ar ei orsedd yn gystal â'r tlawd yn ei fwthyn; ac fe ŵyr ein darllenwyr beth oedd y canlyniad; achubwyd y ddinas fawr rhag y farn. Mae pregethau efengylaidd yr oes hon yn aneffeithiol i ddychwelyd miloedd o'r Cymry o herwydd diffyg yr ysbryd hwn wrth eu gwrando; ac fe fydd gwŷr Ninefeh yn cyfodi i fyny yn y farn i'w condemnio hwynt. Meithrin wn gan hyny yr ysbryd hwn wrth wrando yr efengyl; edrychwn fod ynom ddysgwyliad, pan yn dyfod ynghyd i wrando, am i Dduw lefaru wrth ein heneidiau. Bydded i'n heneidiau glustfeinio am y llef ddystaw fain, sydd yn llefaru yn aml yn ngweinidogaeth yr efengyl pan nad oes na gwynt, na thân, na daeargryn; a gwyliwn rhag i'r nefoedd fod yn ddystaw pan y mae y ddaear yn llefaru; rhag bod genau Duw wedi ei selio wrthym tra yr ydym yn gwrando ar lais ei weision. Hoff ddeisyfiad y Salmydd fyddo yn weddi i ninnau pan yn dyfod ynghyd i wrando, "Na thaw, O Dduw fy moliant."

Mae llawer o weddïo yn y wlad am i genadon Duw gael eu meddiannu âg ysbryd gweinidogaeth yr efengyl; ac y mae yn ddiammheu y dylem briodoli i'r gweddïau hyn yr amddiffyn Dwyfol sydd wedi ei gadw dros y pulpud yn

ein gwlad. Nid llai angenrheidiol ydyw i eglwys Dduw weddïo am i ysbryd gwrando gael ei dywallt ar y cynulleidfaoedd; canys heb hyn byddant fel dyffryn y prophwyd, yn llawn o ddim ond esgyrn sychion o dan deyrnasiad marwolaeth. A thra y mae cymaint o ymdrech canmoladwy yn cael ei wneyd gan ein hathrofeydd, a chan aiddgarwch y bobl ieuainc, i brydferthu y weinidogaeth âg addysg, na fydded i ni anghofio fod yr ysbryd priodol i wrando yn gystal a phregethu yn dywalltiad oddiwrth Dduw. Canys pa bibell bynag a pha alarnad bynag a genir yn y pulpud, ni welir un cyffro nac un cwynfan yn ein cynnulleidfaoedd hyd nes i Ysbryd y peth byw anadlu ar y dyffryn, ac i gyffyrddiad yr Hollalluog roddi clustiau i'r lladdedigion. Dyrchafwn ein llef at Dduw, canys efe a wnaeth i ninnau megys y prophwyd fyned o amgylch ogylch dyffrynoedd yr esgyrn sychion. Dyrchafwn ein llef, "O anadl, tyred oddiwrth y pedwar gwynt, ac anadla ar y lladdedigion, fel y byddont byw." O Anadl, tyred yn y dyddiau hyn, ac anadla ar y Cymry; dyro iddynt ysbryd i wrando fel y byddo byw eu heneidiau.*

---

## CYMHWYSDERAU GOFYNOL MEWN YMGEISWYR AM AELODAETH EGLWYSIG.

*Gan y Parch.* David R. Griffith, *Rhuddlan.*

Dau ddrychfeddwl mawr sydd wedi ffynu yn y byd ymhob oes mewn perthynas i wir natur crefydd, sef y mewnol a'r allanol; a diammheu y gellir priodoli yr holl wahanol agweddau ymha rai y mae Cristionogaeth wedi ei dysgu a'i hargymhell i ddynion, i ogwydd dieithriad y meddwl dynol naill ai at y materol neu yr ysbrydol. Ni a gawn yr allanol yn cael ei gynnrychioli ymhob oes gan yr Eglwys Babaidd. Ynddi y gwelwn y weithred weledig yn cael ei phwysfawrogi, seremoniau yn cael eu lliosogi a'u gorbrisio, â nodwedd allanol yn argraffedig ar drefn iachawdwriaeth pechadur. Yn lle bod pwys yn cael ei osod ar yr egwyddor fewnol, lywodraethol; yn lle bod agweddiad priodol o ran ysbryd yr addolydd yn cael edrych arno fel elfen anhebgorol llwyddiant, ni a gawn gyflawniadau ac ymarferiadau gweigion allanol yn hawlio y lle blaenaf, ac iachawdwriaeth, yn lle tarddu o ras Dwyfol, yn gysylltiedig â haeddiant dynol.†

Yr ochr wrthgyferbyniol i hyn ydyw y drychfeddwl Protestanaidd a weithiwyd allan gan Luther, Melancthon a Calvin, sef yr hwn sydd yn edrych ar yr allanol, y materol, a'r gweledig, fel yn ddarostyngedig ac is-wasanaethgar i'r Dwyfol a'r ysbrydol. Edrychir yn fwy nag o'r blaen ar agwedd fewnol yr enaid, ac y mae perthynas dyn â Duw yn cael ei symio i fyny yn y geiriau, "Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Ni a gawn y ddwy ochr hon yn cael eu cynnrychioli trwy yr oesoedd. Yn y canrifoedd cyntaf gwelwn yr Eglwys Ddwyreiniol a'r Eglwys Orllewinol, ymhellach ymlaen yr Ysgolorwyr a'r Cyfrinwyr, ac yn yr oesoedd diweddaf yr Eglwys Babaidd a'r Eglwys Ddiwygiedig.

Nis gallwn lai na chanfod y bydd syniadau y naill ochr a'r llall ar wahanol athrawiaethau Cristionogaeth, a gwir natur eglwys Crist, yn derbyn eu ffurf a'u lliw i raddau helaeth, yn ol eu tueddfryd llywodraethol at yr anianol neu yr ysbrydol, ac yn ol eu syniad am wir natur crefydd, sef perthynas dyn â Duw. Syniad y Pabydd ydyw mai y wir a'r unig eglwys ydyw y weledig, yn cael ei gwneyd i fyny o'r Pab a'i swyddogion, a'r aelodau; fel y mae y Pab yn ganolbwynt yr offeiriadaeth, felly yr offeiriadaeth ydyw canolbwynt yr aelodau. Ond yr ydym ni o'r ochr arall yn credu nid yn unig yn yr eglwys weledig, yn yr hon y mae cynnulleidfa o ffyddloniaid yn ymgynnull i wrando y gair a gweinyddu yr ordinhadau, ond hefyd yn yr eglwys anweledig, o'r hon y mae Crist yn Ben, a phawb sydd mewn undeb âg ef yn aelodau o honi. Nid yw y weledig ond cymhariaethol berffaith, cymysg ar y goreu: eto ei dyledswydd ydyw ymgyrhaedd hyd y mae ynddi at yr *ideal* perffaith.

Y mae yn gweddu i swyddogion ein heglwysi sydd â'r cyfrifoldeb yn gorphwys arnynt o gyfarwyddo eneidiau at y gwirionedd, feddu dirnadaeth glir a diammwys am y gwahaniaeth hanfodol hwn rhwng y materol a'r ysbrydol; ac nis gallwn wneyd hyny yn well na thrwy efrydu gweithrediad y tueddiadau hyn yn yr oesoedd sydd wedi ein rhagflaenu. Nis gallant lywodraethu, egwyddori, adeiladu, ac amddiffyn yr eglwys yn briodol heb feddu syniad clir o'r gwahanol elfenau sydd yn ymweithio i'r eglwys yn ein dyddiau ni; a'r unig lwybr effeithiol i hyny ydyw efrydu y gweithrediadau mawrion sydd wedi dwyn yr

---

* Traddodwyd cynnwys y nodiadau hyn yn Machynlleth, Gorphenaf 30ain.

† Gwel Fisher *On the Reformation.*

Eglwys Brotestanaidd i'w ffurf bresennol. Ac yma ni a welwn werth a phwysigrwydd hanesyddiaeth, o herwydd drwyddi y cawn allweddau i ddadrys yr holl anhawsderau, ac arfau i ymladd yn erbyn yr holl gyfeiliornadau sydd yn ymosod ar yr eglwys yn y blynyddoedd hyn. Diau y gellir galw y rhai hyn yn amseroedd peryglus i eglwys Crist, amseroedd pan y mae holl allu y gelyn yn ymarfogi yn erbyn symlrwydd yr efengyl. Ar y Cyfandir gwelwn Resymoliaeth noeth yn myntumio rheswm dynol fel gallu digonol i benderfynu y Dwyfol a'r ysbrydol, yn gosod, mewn gwirionedd, y dynol ar lwyfan y Dwyfol, tra yn ein gwlad ein hunain y gwelir ysbryd defodol, anianol, anghredininiol, yn trwytho meddyliau miloedd o bob sefyllfa — ysbryd gwibiog, anwadal, arwynebol, yn meddu ond syniadau anmherffaith iawn am ddrwg pechod a'i ganlyniadau, a'u perthynasau moesol â Duw fel Llywodraethwr cyfiawn a sanctaidd; ysbryd sydd yn uniongyrchol dueddu at ddinystrio athrawiaethau hanfodol Cristionogaeth, yr athrawiaethau y bu ein cyndadau mor zelog i'w hamddiffyn, a chadwraeth bur o ba rai sydd hanfodol er ffyniant moesoldeb a rhinwedd yn ein gwlad. Diammheu mai perygl mwyaf yr eglwys yn y dyddiau hyn ydyw yr ysbryd arwynebol hwn. Cawn ef yn lefeinio pob cylch mewn cymdeithas, ei geinciau yn cerdded i bob cyfeiriad, yn llenyddol, masnachol, a gwladwriaethol, ac yn raddol ymwthio i deml yr Arglwydd.

Onid ydyw ysbryd yr oes i'w ddarllen yn y syniadau cyfeiliornus o barth i natur gwir addoliad, — seremoniau a defodau rhwysgfawr, yn lle calon ddrylliog gystuddiedig, ac yn yr ymgais egniol i esbonio ymaith ddirgelwch yr efengyl? O dan ddwylaw y malurwyr haiarnaidd hyn, y mae yr Ymgnawdoliad a'r Iawn, cyfrifoldeb moesol dyn, a thragywyddol gosbedigaeth, yn ymdoddi yn gysgodion diflanedig. Damwain yw pechod, creulondeb yw cyfiawnder, ofergoeledd yw tragywyddol gosbedigaeth yr annuwiol. Os hyn ydyw agwedd pethau yn ein gwlad, y mae yn gweddu i ni gadw yn amlwg y gwirionedd mawr fod pechod yn bod, fod pechod yn ddrwg fel y cyfryw yn annibynol ar ei effeithiau amserol, ei fod yn ddrwg mor fawr fel y gorfu i Dragywyddol Fab Duw ymgnawdoli o'i herwydd, a chadw hefyd yn amlwg mai Crist ydyw yr unig Waredwr addas a chymeradwy oddiwrtho.

Y mae lle i ofni ein bod fel Cyfundeb wedi colli i fesur mawr y manyldra, y gonestrwydd, a'r unplygrwydd oedd yn nodweddu ein tadau, a'r hyn oedd yn nerth a chadernid iddynt, ac a'n galluogodd ninnau drwyddynt i gyrhaedd y safle uchel a dylanwadol yr ydym wedi ei ennill yn nghydwybodau ein cydgenedl. Nid yw yn ddigon i ni ddibynu ar yr hyn a fu, ar y gorchestion wnaed, ond rhaid cofio mai yr un yw calon lygredig bob amser, nas gall addysg, diwylliant, a phob caffaeliad dynol, ond dyfnhâu trueni pechadur, oddieithr i oleuni yr Ysbryd Glân lewyrchu yn y galon. Credwn bod ein llwyddiant yn y dyfodol yn dibynu nid yn gymaint ar yr hyn a wnaed, ond ar yr hyn a wnawn. Na choller golwg ar y gwahaniaeth hanfodol rhwng y byd a'r eglwys, rhwng drwg a da, rhwng moesoldeb a sancteiddrwydd, ac yna fe'n galluogir i gadw i fyny urddas yr eglwys, a'i harswyd ar y byd.

Amlygir pryder mewn rhai parthau o'n gwlad nad ydys yn fynych yn cael arwyddion boddhaol o'r agwedd hyny ar y meddwl ag sydd ofynol yn ol Gair Duw, yn y rhai a ddymunant le yn ein heglwysi; a chredwn yn gydwybodol mai ansawdd ysbrydol ein heglwysi ydyw gwreiddyn y drwg a'r perygl yma i raddau helaeth iawn. Onid nifer bychan mewn cymhariaeth o'r rhai sydd yn proffesu Crist, sydd yn meddu argyhoeddiadau dyfnion, arosol, am wirioneddau Dwyfol yn eu meddyliau a'u cydwybodau? Onid *theories* a damcaniaethau gweigion ydyw prif athrawiaethau ac egwyddorion crefydd i lawer, yn hytrach na sylweddau uwch na'r gweledig a'r amserol? Ac onid ydym wedi graddol ymlithro mewn llawer man i foddloni ar deimladau, teimladau yn unig, heb fod y rhai hyn yn cael eu cynnyrchu gan weledigaeth ysbrydol dwfn i'r gwirionedd? I ba raddau y gellir tynu llinell derfynol wahaniaethol rhwng y byd a'r eglwys? Ai nid yw llewyrch egwyddorion Crist yn llawer rhy wanaidd ac ansefydlog yn mucheddau aelodau ein Cyfundeb? Onid ydyw yn gofyn craffder neillduol i ddarllen y gwahaniaeth sydd rhwng y proffeswr a'r gŵr dibroffes? Ai nid oes tuedd ynom i gau ein llygaid pan y gwelwn fai neu bechod, yn hytrach nag edrych y drwg yn ei wyneb? Onid ydyw ofn tramgwyddo dynion yn rhwystr i ni amddiffyn gogoniant Duw a phurdeb dilychwin yr eglwys? Onid ydyw y difrawder, y difaterwch, a'r bydolrwydd sydd yn nodweddu llawer o'n haelodau eglwysig yn gymhelliad i ddynion arwynebol eu teimladau ymofyn am le yn nhŷ yr Arglwydd —yn gymhelliad i ddynion sydd heb erioed gael gallu i wneyd "yr un peth anghenrheidiol," gynnyg eu hunain yn aelodau o eglwys Dduw? Ai nid yr achos bod cynifer yn ymlithro i'n heglwysi yn y dyddiau hyn, ac yn dra buan yn cilio oddiwrthi i'w trofeydd, neu ynte er yn

aros ynddi yn rhy debyg i'r ffigysbren diffrwyth, a ddarlunir gan ein Hiachawdwr, ydyw, nad yw goleuni a bywyd ysbrydol yr eglwys yn ddigon cryf i ymlid ymaith oddiwrthi bob tywyllwch a marwolaeth, ac i daflu arswyd ar yr anystyriol a'r arwynebol rhag agoshâu ati? Yr arswyd hwn, yn cyfodi oddiar burdeb yr eglwys a phresennoldeb amlwg Duw ynddi, ydoedd yr amddiffyniad iddi yn yr oes Apostolaidd rhag ymlithriad rhagrithwyr i mewn iddi: "Eithr ni feiddiai neb o'r lleill ymgysylltu â hwynt; ond y bobl oedd yn eu mawrhâu, a chwanegwyd atynt rai yn credu yn yr Arglwydd." Cofiwn fod ein diogelwch yn dibynu yn benaf ar eglurder a mawredd y gwahaniaeth sydd i fodoli rhwng praidd Crist a deiliaid teyrnas y tywyllwch. Os ydym am gael dynion pur eu dybenion yn ymgeiswyr, rhaid codi ein heglwysi i fod yn alluoedd grymus mewn purdeb a sancteiddrwydd, yn fyddinoedd anghymodlawn â phechod, yn gartrefleoedd annyoddefol i lygredigaeth a chnawdolrwydd.

Ond tra yn cadw ein llygaid yn ofalus am burdeb yr eglwys i'r dybenion hyn, nis dylem ychwaith fod yn fyr o ochelgarwch a chydwybodolrwydd gyda golwg ar dderbyniad rhai yn aelodau o'n heglwysi. Tuag at weithio allan ddrychfeddwl mawr yr eglwys fel magwrfa i bob gras, dylid cael sicrwydd hyd y gellir o wir argyhoeddiad yr ymofynydd o bechadurusrwydd, trueni, a cholledigaeth ei gyflwr. Nid cyfaddefiad *abstract*, nid cyfaddefiad deallol, ond prawf ei fod yn gweled y pechadur ynddo ei hun, yn teimlo barn marwolaeth ac ingoedd argyhoeddiad Ysbryd Duw—dyma y gychwynfa,—y *starting point*—ac y mae holl yrfa ddyfodol dyn yn dibynu arno. Os nad oes yna arwyddion sicr a boddhaol o wir edifeirwch a dychweliad, nid yw ond ofer dysgwyl am newyn a syched am gyfiawnder Crist, nac am werthfawrogiad o'r aberth a'r haeddiant Dwyfol sydd yn ei Berson.

Gadawer i'r aelodau a'r gwrandawyr deimlo mai nid peth dibwys a rhwydd ydyw sicrhâu aelodaeth yn ein heglwysi: argraffer ar eu meddyliau yn fynych y dysgwylir iddynt fod yn rhywbeth mwy na gwyr bucheddol,—y rhaid cael ffrwythau addas i edifeirwch: ymwrthodiad ymarferol o'r byd a'i chwantau, a phenderfyniad di-ildio i ddilyn buchedd newydd. Na oddefer neb yn aelodau ag y gwyddys eu bod mewn gelyniaeth neu ymryson neu lid at eraill. Ofnwn ein bod fel cenedl yn y blynyddoedd hyn wedi colli golwg i raddau helaeth ar echryslonrwydd athrod a chenfigen, y parodrwydd i anwesu teimladau angharedus y naill tuag at y llall, a bod y pechod yma yn llawer mwy cyffredin yn ein heglwysi nag yr ydym wedi sylweddoli. Nid oes odid bechod yn y Gair Dwyfol ag y cyhoeddir melldithion trymach arno nag athrod,—dibrisdod o gymeriadau a theimladau ein gilydd, tuedd i iselu a chenfigenu y naill wrth y llall; a diammheu ei fod yn un o'r elfenau mwyaf peryglus i undeb, a chydweithrediad, ac effeithiolrwydd yr eglwys fel gallu i efengyleiddio y byd. Yr ydym, ar y cyfan, yn ofalus gyda golwg ar dderbyniad dynion ag y mae teimlad moesol cyffredinol cymydogaeth yn eu condemnio, ond heb sylweddoli, fe ddichon, fod yr un mor bwysig sicrhâu purdeb yr eglwys gyda golwg ar bechodau llai cyhoeddus, ond pechodau sydd er hyny ac o herwydd hyny yn annhraethol fwy effeithiol i ladd dylanwad yr eglwys ar y byd. Un o'r profion blaenaf, a chymhwysder anhebgorol adnabyddiaeth achubol o Dduw, ydyw cariad at y brodyr: "Nyni a wyddom ddarfod ein symud ni o farwolaeth i fywyd, oblegid ein bod yn caru y brodyr."

Rhodder hefyd arbenigrwydd a phwys ar yr anghenrheidrwydd i'r ymgeiswyr fod yn llwyrymwrthodwyr oddiwrth bob diodydd meddwol; a chwilier am arwyddion boddhaol eu bod wedi marw i'r byd, nid yn unig yn ei bechodau amlwg, gwrthun, ond i'r byd o ran yr ymrysonfa anniwall sydd yn nodweddu yr oes, am gyfoeth a mwyniant. Credwn am ddiffuant y dylid arfer mwy o onestrwydd gyda'r drygau hyn. Ni ddylai proffes yr ymgeisydd o'i ffydd yn Nghrist fod yn ddigonol, tra'y gwyddys yn dda ei fod yn athrodus, neu yn fydol, neu ynte yn ymarfer â'r diodydd meddwol. Dyma dri phechod mawr y Cymry,—athrod, bydolrwydd, a meddwdod; ac os mynem weled llewyrch ar ein heglwysi, cofiwn yn fynych y darluniad a roddir yn Salm xv. o'r hwn sydd yn deilwng o drigo yn y babell, a phreswylio yn mynydd sancteiddrwydd Duw. Pa fath un a ddylai fod? "Yr hwn a rodia yn berffaith, ac a wnel gyfiawnder, ac a ddywed wir yn ei galon; heb absennu â'i dafod, heb wneuthur drwg i'w gymydog, ac heb dderbyn enllib yn erbyn ei gymydog; yr hwn y mae y drygionus yn ddirmygus yn ei olwg, ond a anrhydedda y rhai a ofnant yr Arglwydd; yr hwn a dwng i'w niwed ei hun, ac ni newidia; yr hwn ni roddes ei arian ar usuriaeth, ac ni chymer wobr yn erbyn y gwirion. A wnelo hyn, nid ysgogir yn dragywydd." Wrth ffurfio barn am gymhwysderau ymgeisydd, dylid cymeryd i ystyriaeth nid yn unig ei broffes gyhoeddus o edifeirwch, ond cael sicrwydd pa beth ydyw ei gymeriad yn wyneb y gorchymyn, "Câr dy gymydog fel ti dy hun." A ydyw gwersi caledion ond an-

hebgorol hunanymwadiad, gostyngeiddrwydd, a chariad, yn eu hystyr eangaf, yn cael eu gweithredu yn foddhaol ynddo? Nid ein perygl ni ydyw bod yn rhy lym, ond yn hytrach yn rhy dyner, yn amddifad o'r gwroldeb a'r zel sanctaidd oedd yn nodweddu prophwydi ac apostolion yr Arglwydd, a'r hyn oedd yn gosod dychryn a braw ar yr annuwiol. Gweddïwn am ein cynnysgaethu â gweledigaeth ysbrydol, modd y gweithredom bob amser er gogoniant teyrnas y Gwaredwr yn y byd.

---

## DYLEDSWYDD PROFFESWYR CREFYDD TUAG AT YR YSGOL SABBOTHOL.

[Traethawd Buddugol yn Nghyfarfod Llenyddol Ysgolion Sabbothol Dosbarth Abertawe, Gwener y Groglith, 1882.]

Mae y Testament Newydd yn llyfr o egwyddorion yn hytrach na llyfr o reolau manwl neu orchymynion pendant. Mae yn ymwneyd mwy âg ysbryd nag â llythyren y peth. O dan yr hen oruchwyliaeth, nododd Duw yn fanwl iawn drefn ei addoliad; ac nid oedd gan yr eglwys hawl i arfer ei barn ei hun gyda golwg ar un ran o hono; ond nid oes y fath reolau manwl a hyny i'w cael yn y Testament Newydd, oddieithr mewn ychydig iawn o engreifftiau. Mae yma egwyddorion mawrion wedi eu gosod i lawr, gan adael i farn ddyfodol yr eglwys dynu allan o honynt beth bynag fyddo yn gydweddol âg ysbryd yr efengyl, ac â llwyddiant teyrnas Crist. Nid ydym, wrth hyn, yn cefnogi yn y mesur lleiaf, arferiad rhai cangenau o'r eglwys gristionogol yn newid gorchymynion Crist, gan osod yn eu lle draddodiad y tadau. Nid oes genym hawl i gyfnewid un iod na thipyn o gyfraith Crist; ond credwn fod gan yr eglwys hawl i wneyd ei defnyddioldeb yn amlwg, ac i hyrwyddo llwyddiant teyrnas Iesu yn y byd, trwy unrhyw ffyrdd neu gyfryngau ag a fyddant yn gydunol âg ysbryd cyffredinol Cristionogaeth, ac na fyddont yn troseddu un o'i rheolau.

Cyfrwng o'r fath yma yw yr Ysgol Sabbothol. Nid oedd hon yn bod yn amser Crist a'r Apostolion, nac am ganrifoedd lawer wedi hyny. Nid oes genym un Ysgrythyr yn cyfeirio ati fel sefydliad; ond er hyny credwn ei bod yn gyson â holl ddysgeidiaeth yr efengyl, ac wedi tyfu allan fel cangen ffrwythlawn o foncyff mawr Cristionogaeth. Er nas gellir cael allan yr Ysgol Sabbothol fel sefydliad yn y Testament Newydd, eto credwn ei bod yn gorwedd yn egwyddor fawr y commisiwn: "Ewch a dysgwch yr holl genedloedd," &c. Gwir mai pregethu yn fwyaf neillduol sydd yma, eto nid yw y geiriau yn cauad allan, ond yn hytrach yn cynnwys unrhyw gyfrwng a wasanaetho i wneyd pregethu yn fwy effeithiol, yr hyn wasanaeth y mae yr Ysgol Sul, ni a hyderwn, yn ei wneyd.

Wrth ddarllen hanes sefydliad yr Ysgol Sabbothol gan Charles o'r Bala, Raikes, ac eraill, nyni a ganfyddwn mai eu hamcan mawr hwy oedd dwyn y werin i adnabyddiaeth fwy cyffredinol, ac i wybodaeth fwy manwl o air Duw yn eu hiaith eu hunain; ac y mae yn syndod meddwl, er cymaint sydd o siarad gan Ddic Siôn Dafyddion ein gwlad, a chan Saeson mursenaidd tu draw i Glawdd Offa, am dranc-edigaeth yr hen iaith, fod yr Omeraeg mewn mwy o fri, ac mewn ymarferiad mwy cyffredinol yn bresennol nag ydoedd er ys tri chant o flynyddoedd yn ol; ac y mae hyn i'w briodoli i raddau helaeth i ddylanwad yr Ysgol Sabbothol; a cham dirfawr yw gosod plant Cymreig i ddarllen a dysgu Saesoneg yn yr Ysgol Sul. Mae ganddynt ddigon o gyfleusderau i ddysgu iaith Victoria yn yr ysgolion dyddiol; ac ni fyddant yn waelach Saeson o herwydd eu bod yn gwybod Cymraeg, ond yn hytrach yn well. Bydded i ni gadw yr Ysgol Sul i fod yn attegiad o dan hen iaith ardderchog ac anwyl ein tadau. Ond er fod y sefydliad hwn yn gwasanaethu i gadw yn fyw y Gymraeg, rhaid i ni gofio mai nid hyn yw ei amcan penaf. Mae iddo ddyben uwch a mwy rhagorol na chadw iaith yn fyw, pa mor barchus ac anwyl bynag fyddo yr iaith hono. Amcana at roddi addysg grefyddol i'r werin, at gyfranu addysg Fiblaidd i'w deiliaid; ei dyben yw treiddio i mewn i fwngloddiau ysbrydoliaeth, a dwyn allan drysorau Dwyfol. Ymsudda i waelodion moroedd iachawdwriaeth, gan ddwyn yn ei chol berlau a gemau ysbrydol er addurno yr enaid. Mae ei haddysg yn uwch nag eiddo sefydliadau cyffelyb. Nid ydym yn y mesur lleiaf am iselhâu addysg grefyddol; mae hyny yn fuddiol ac anghenrheidiol, ac ni ddylai un dyn fod yn amddifad o ryw gyfran o hono, a pho fwyaf o hono, goreu oll; ond gwyddom y cydwêl pob un fod addysg yr Ysgol Sabbothol yn uwch na'r addysg a gyfrenir yn y sefydliadau hyn. Yno y cewch bethau a ddaliant gysylltiad â'ch llwyddiant bydol; ond yma cewch bethau a ddaliant gysylltiad â'ch heddwch tragywyddol. Yno chwi a gewch Homer, Virgil a Cicero, Shakspeare a Locke,—dynion mawr, ser a goleuadau yn ffurfafen eu hoes; ond nid ydynt ar y goreu ond ffaeledig, ac yn fynych yn gyfeiliornus a pheryglus yn eu dysgeidiaeth; ond yma cewch Dafydd a Paul, Esaiah a Job—dyn-

ion Duw, y rhai a ysgrifenent o dan gyfarwyddyd ei Ysbryd, ac a daniwyd gan farwor ei gariad. Yma mae Crist, Mab y Duw byw, yr hwn a lefarodd fel na lefarodd neb yn debyg iddo. Mewn ysgolion eraill deuwch yn alluog i gael allan ddirgelion y greadigaeth; yma chwi a ddeuwch yn alluog i gael allan ddirgelion prynedigaeth. "Mawr yw dirgelwch duwioldeb, Duw a ymddangosodd yn y cnawd."

Mae pob rhan o wasanaeth Duw yn ymddibynu i raddau helaeth am ei lwyddiant ar ymdrech yr eglwys o'i blaid; felly gyda golwg ar yr Ysgol Sabbathol. Yr eglwys sydd i gyfranu addysg grefyddol. Pwnc yn perthyn i'r eglwys fel y cyfryw yw addysg dynion mewn pethau ysbrydol. Nid oes un gymdeithas arall yn addas i argymeryd â'r gwaith mawr yma. Bodola camsyniad mawr yn yr eglwys o berthynas i'r Ysgol Sabbathol. Creda llawer nad yw cyfarfod yr Ysgol yn perthyn i'r eglwys fel y cyfryw, ac nad ydyw yn ddyledswydd arnynt hwy ymdrafferthu dim yn ei chylch; gadawant y baich hwn i gael ei ddwyn ar ysgwyddau rhyw nifer ffyddlawn o hen bobl, a rhyw ychydig o ddynion ieuainc sydd yn flaenllaw gyda phob peth. Edrychir ar yr Ysgol yn gyffredin fel rhywbeth ar wahân i'r eglwys; eithr ni bu syniad mwy cyfeiliornus a niweidiol erioed. Perthyna yr Ysgol i'r eglwys yn gymaint â'r cyfarfod gweddi neu y gyfeillach. Dylai gael presennoldeb pob aelod, a rhan yn ei ymdrechion a'i weddïau. Yn y cyfarfod gweddi ceir clywed deisyfiadau yn esgyn at Dduw ar ran pob peth a phawb ond yr Ysgol Sabbothol a'i hathrawon zelog. Daw pob pwnc braidd o flaen y cyfarfod eglwysig, ond pwnc y canu a phwnc yr Ysgol. Câ y rhai hyn fyw neu farw o ran dim cymhorth a dderbyniant oddiwrth yr eglwys fel y cyfryw. Nid yw hyn yn deg, ac nid yw yn rhesymol ychwaith. Rhaid i ni uno y sefydliad â'r eglwys. Mae y llwyddiant sydd wedi canlyn y sefydliad yn y blynyddoedd a aethant heibio, yn ei wneyd yn annattodol gysylltiedig â'r eglwys. O'r eglwys y dylai ei swyddogion, yn arolygwyr, ysgrifenyddion, athrawon ac athrawesau, gael eu dewis. Dylai y rhai hyn fod yn ddynion o dduwioldeb diammheuol, yn gystal ag o ddeall a gwybodaeth. Peth peryglus iawn yw ymddiried blagur gwan i gael ei drin gan law *rough*, a chan esiampl lygredig dyn annuwiol. Dylent gael llaw dyner, gwefusau yn dyferu gras, bywyd yn anadlu crefydd, i'w meithrin a'u diogelu rhag ystormydd pechod.

Y mae yn rhaid i'n dyledswydd a'n hymdrech fod yn gyffredinol a phersonol gyda'r Ysgol Sabbathol. Rhaid uno ein holl alluoedd ynghyd fel milwyr da. Nis gall pawb fod yn faeslywyddion, na phawb fod yn gadbeniaid a *sergeants* mewn rhyfel, neu ynte pwy a geid i drin y bidog a'r clêdd? Felly mae galluoedd yr eglwys yn amrywiol. Ni fedr pawb fod yn bregethwyr, ac ni chafodd pob un gymhwysder i wneyd diacon da, na gallu i weddïo yn gyhoeddus; ond yn yr Ysgol mae yma le a gwaith i bawb. Nid yw hon yn gwrthod neb; mae ei breichiau ar lêd i dderbyn pwy bynag a ddêl. Cyrhaedda y dwfr ei gartref yn y weilgi trwy fod dyferyn yn ymuno â dyferyn, ffrwd yn ymgolli mewn ffrwd, cornant mewn cornant, ac afon yn cofleidio afon. Felly os ydym ninnau am lwyddo, bydded i ni uno ein gwahanol alluoedd, ac yna ni saif un rhwystr o'n blaen.

Gan fod yr Ysgol Sabbothol yn sefydliad crefyddol, a'i sail yn egwyddor gyffredinol y Bibl, a osodir allan yn ail orchymyn y gyfraith, a'i dyledswyddau yn ddadblygiad mewn un agweddiad o egwyddor gyffredinol gwir grefydd gan Iago, gan hyny mae ei hawliau o'r un natur âg eiddo y gyfraith, a'i dyledswyddau, tra yn dwyn delw egwyddor gyffredinol gwir grefydd a osodir ger bron y byd yn eglwys Dduw, yn gorphwys, wrth gwrs, ar yr holl aelodau yn ddiwahaniaeth. Ac megys mai yr un egwyddor yn dadblygu ei hun mewn gwahanol agweddau yw gwahanol ddyledswyddau crefydd, felly y mae yr egwyddor ymhob un o'r cyfryw; yna y mae esgeuluso un o honynt yn drosedd ar yr egwyddor, fel y mae yr hwn sydd yn pallu mewn un pwnc yn euog o'r cwbl; gan hyny, nis gall un o aelodau yr eglwys esgeuluso dyledswyddau yr Ysgol a bod yn ddieuog yn ngwyneb y Bibl. Eto cydnabyddir fod dyledswyddau yn perthyn i'r sefydliad nas gall pawb o honynt eu gwneyd, fel y dywedwyd eisoes, sef nad ydynt oll yn gymhwys i fod yn arolygwyr, ysgrifenyddion, ac athrawon.

1. Mae y dyledswyddau canlynol yn bwysig, ac yn gyfryw y gall holl aelodau yr eglwys, fel rheol, eu cyflawni.

(1.) Dyfod i'r Ysgol eu hunain. Y mae hon yn ddyledswydd arbenig ar holl aelodau eglwys Dduw, ac y mae ei chyflawni yn beth mor bwysig, fel y mae hyny yn hanfodol er gallu gwneyd pob un arall yn effeithiol; yna y mae yr hwn a'i hesgeulusa, wrth hyny, yn analluogi ei hunan i wneyd y lleill oll.

(2.) Ymdrechu dwyn eraill i'r Ysgol. Os oes rhai nas gallant fod yn wasanaethgar i ddysgu eraill, nac hyd yn nôd yn alluog i ddysgu llawer eu hunain, eto gallant hwy fod yn foddion i ddwyn eraill i gael eu dysgu. Ond pa fodd y gallant wneuthur y ddyledswydd bwysig yma yn briodol oddieithr iddynt fod yn arfer dyfod i'r Ysgol eu hunain?

(3.) Gweddïo am lwyddiant y sefydliad. Rhyfedd fyddai y fath beth a bod un o aelodau eglwys Dduw, os yn wir gristion, yn medru byw heb weddïo dros ei Hysgol Sul; ond mwy rhyfedd fyth fyddai i neb allu gwneyd y fath beth, tra ar yr un pryd yn esgeuluso dyfod i'r Ysgol.

2. Nis gall un o aelodau yr eglwys esgeuluso ei ddyledswyddau tuag at yr Ysgol heb fod yn euog o ymddygiad yn dylanwadu yn erbyn ei llwyddiant, ac felly, wrth gwrs, yn effeithio er attal llwyddiant achos y Gwaredwr. Dylai holl aelodau pob eglwys wneyd defnydd o'u dylanwad gyda Duw yn y nefoedd, a chyda dynion ar y ddaear, o blaid llwyddiant eu Hysgol Sul. Ond O na fyddai i'w hesgeuluswyr ystyried fod eu hymddygiad yn dylanwadu i'r gwrthwyneb gyda y naill a'r llall! Pwy, gan hyny, yw esgeuluswyr yr Ysgol Sabbothol? Y mae pob un yn ei hesgeuluso a all ddyfod iddi ac nad yw yn dyfod; yna nid oes neb yn ddieuog o'i hesgeuluso ond yn unig y rhai, wedi gwneyd pob ymdrech yn eu gallu i fod yn bresennol yn ei chynnulliadau, y byddo hyny yn beth anmhosibl iddynt; hwy yn unig sydd yn esgusodol. Mae yn wir fod amgylchiadau rhai y fath nas gallant ddyfod yn gyson i'r Ysgol Sul; ond gyda golwg ar y mwyafrif nad ydynt yn dyfod iddi, hyd yn nôd proffeswyr crefydd, y mae lle i ofni ei fod yn wirionedd, er mor alarus ydyw, mai yr unig gyfrif a ellir ei roi am eu habsennoldeb yw, diffyg ymdrech neu esgeulusdra. Yna, er mwyn cael ymwared o'r aflwydd yma, a chael diwygiad gyda golwg ar hyn, dylid gwneyd pob egni, yn

(1.) I symud y rhwystrau oddiar y ffordd, ac nid eu cymeryd yn esgusodion dros esgeulusdra. Tuag at hyny y mae yn rhaid, yn gyntaf, ofalu na byddo i ddim a ellir wneyd ar ddyddiau eraill gael ei adael heb ei wneyd hyd y dydd Sabboth. Ymddengys fod esgeulusdra o ddyledswyddau crefyddol y dydd cyntaf o'r wythnos, yn dechre yn aml mewn esgeulusdra o ddyledswyddau tymmorol dyddiau diweddaf yr wythnos flaenorol, fel y mae'r cyfryw, o herwydd hyny, yn cael eu gwneyd ar y dydd sanctaidd, heblaw ei halogi, yn rhwystr i gyflawni ei ddyledswyddau priodol, eto yn cael eu cymeryd yn esgusodion dros eu hesgeuluso; felly un trosedd yn cael ei wneyd yn esgus dros y llall; yna, oni raid fod hyn yn bechod deublyg?

Yn ail, gofalu am gyflawni yn brydlawn ddyledswyddau tymmorol angenrheidiol y Sabboth, fel na byddo iddynt wrth eu gwneyd ar amser gwasanaeth Dwyfol y dydd beri iddo gael ei esgeuluso. Mewn trefn i allu gwneyd hyn lle mae llawer o waith, y mae yn rhaid dilyn esiampl yr Arglwydd yn ei adgyfodiad, a chodi yn fore ar y dydd cyntaf o'r wythnos. Diffyg o hyn yn fynych ydyw yr achos fod rhwystrau y gellid eu symud yn cael eu gwneyd yn esgusodion dros esgeulusdra; ac y mae hyn hefyd yn rhan fawr o'r achos fod yr addoldai mewn llawer man mor weigion ar y rhanau blaenaf o ddydd yr Arglwydd. Golygfa ddymunol yw gweithfëydd yn llawnion ar foreuau dyddiau yr wythnos, pob un wedi gofalu am ei orchwyl yn amserol, ac yn fywiog gyda'i ddyledswydd; ond mor ddifrifol yw cael golygfa mor wahanol ar fore dydd Duw, wrth weled mewn gwlad efengyl y manau lle y gwasanaethir ef ynddynt mor weigion a difywyd! Gallai y gwragedd a'r chwïorydd crefyddol fod yn foddion i ddwyn oddiamgylch lawer o ddiwygiad gyda golwg ar hyn pe byddai iddynt oll ddilyn esiampl y gwragedd duwiol gynt, a chodi yn fore ar y dydd cyntaf o'r wythnos i geisio yr Iesu yn yr ystafell ddirgel, megys y darfu iddynt hwy fyned i'w geisio at y bedd. Byddai yn hawdd iddynt ei gael ar yr adeg hono, tra yn ei adgofio o'r dydd y darfu iddo orchfygu y gelyn diweddaf, ac adnewyddu iddo lawenydd ei fuddugoliaethau; ac os na fyddai iddynt ei gael ef yno bob amser, yn ol eu dysgwyliad, fel y dywedodd yr angel wrth y gwragedd, "Wele, y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i Galilea, yno y gwelwch ef,"—ond odid na fyddai i ryw genad anweledig awgrymu i'w meddyliau hwy y geiriau cysurlawn, gan ddywedyd, "Wele, y mae efe yn myned o'ch blaen chwi i'r oedfa foreuol, yno y gwelwch ef." Yna byddent yn debyg o ddyfod yn gyfrangogion o ysbryd ffyddlawn eu cyn-chwïorydd, ac fel yr oeddynt hwy, tra yn tori trwy bob anhawsderau ac ofnau i fyned at y bedd, felly hwythau yn tori trwy bob rhwystrau i fyned i gyfarfod â'u Hanwylyd; ac wedi iddynt brofi melusder ei gymdeithas yn oedfa y bore, ni fyddai i beth bychan eu lluddias i'r Ysgol y prydnawn, a chyfarfod yr hwyr. Ac y mae yn ddiammheu y byddai i'w hawydd am i'w teulu, ac eraill a allant fod o dan eu llywodraeth, ddyfod i fwynhâu yr un breintiau, beri iddynt wneyd eu goreu er rhwyddhâu y ffordd i'w sicrhâu, tra byddai eu hesiampl dda yn cydweithio â'u hymdrech i gyrhaedd yr un amcan, ac felly yn debyg o effeithio er dwyn holl wrthddrychau eu gofal i'r Ysgol a phob moddion o ras. Pwy a ŵyr na fyddai i achos y Gwaredwr, mewn canlyniad, yn fuan wisgo agwedd newydd? Felly ceid yr eglwys yn clywed ei lais ef, ac yn cydymffurfio â'i gyfarchiad, pan yn dywedyd, "Deffro, deffro, gwisg dy nerth, Sïon, gwisg wisgoedd dy ogoniant," a'r capeli yn cael eu llenwi yn oedfäon y bore, ysgolion y prydnawn, yn

ogystal a chyfarfodydd yr hwyr. O na byddai i'r gwragedd ystyried i ba raddau y mae yr achos nad ydyw felly yn awr yn gorwedd wrth eu drysau hwy, a pha faint a allant hwy wneyd er cael diwygiad yn hyn, pe byddai iddynt hyd yn nôd ond gofalu fod eu dyledswyddau teuluaidd yn cael eu gwneyd yn amserol a phriodol, fel y byddai i'r rhwystrau a ddefnyddir yn esgusodion gael eu symud ymaith.

(2.) Dyledswyddau aelodau eglwys Dduw tuag at yr Ysgol Sabbothol, o'r tu allan iddi.

Ymddengys fod ganddynt hwy lawer i'w wneyd o'r tu allan i'r Ysgol er eu cymhwyso eu hunain i fod yn ddefnyddiol ynddi; gan hyny dylent wneyd eu goreu ar hyd yr wythnos er parotoi eu hunain i fod yn wasanaethgar yn yr Ysgol ar y Sabboth, ac yn enwedig ei swyddogion.

1. Y mae yn ofynol i'r arolygwyr wneyd defnydd o bob mantais a all fod yn eu cyrhaedd er cymhwyso eu hunain i gyflawni eu swyddi yn briodol; oblegid fel y mae yr arolygwr yn arweinydd yr holl Ysgol, oni fyddai iddo ef fod yn ddiffygiol yn debyg o effeithio yn ddrwg ar y sefydliad yn gyffredinol? Yna y mae pwysigrwydd ei swydd, ac eangder ei ddylanwad, yn galw arno i beidio arbed un draul na thrafferth er cymhwyso ei hun i'w hiawnweinyddu. Felly y mae yn ofynol iddo heblaw bod yn ofalus, doeth, a llygadgraff yn yr Ysgol, fod yn dra llafurus gartref.

2. Felly hefyd gyda golwg ar yr athrawon a'r athrawesau. Y mae pwysigrwydd eu swyddi hwythau yn galw yn uchel arnynt i wneyd pob ymdrech a allont i ymbarotoi i gyfarfod eu dosbarthiadau. Y mae o bwys mawr i athraw yn yr Ysgol Sul ystyried yn wastadol fod ganddo i ymwneyd â deall ac â chalon ei ddosbarth—fod yn perthyn i'w swydd agor eu deall, fel y deallont yr Ysgrythyrau, a dwyn eu calon o dan eu dylanwad. Gan hyny, er cymhwyso ei hun i fod yn ddefnyddiol yn ei gylch, y mae yn ofynol iddo wneyd pob ymroad i ddeall, hyd y gallo ei hunan, y Llyfr Dwyfol a ddysga i arall, a gwneyd y defnydd goreu i'w enaid ei hun o'r pethau a osoda ger bron ei ddosbarth. Y mae yn anhebgorol anghenrheidiol iddo drwytho ei ddeall a'i feddwl ei hun yn nysgeidiaeth oleu a phur yr Ysgrythyrau, er ei allnogi i oleuo deall a dylanwadu ar feddyliau ei ddysgyblion. Ac er cyrhaedd hyn, y mae yn amlwg fod gan yr athraw lawer i'w wneyd gartref.

3. Dylai pawb yn y dosbarth wneyd eu goreu eu hunain, ymlaen llaw, i ymbarotoi i gyfarfod eu hathraw, at yr hyn y gweddai iddynt dreulio rhan helaeth o'u horiau hamddenol. Ar wahân i'r fath gydgyfarfyddiad rhagbarotoawl, nis gall gwybodaeth ysgrythyrol un Ysgol Sabbothol fod ond arwynebol a digynnydd.

4. Ymddengys mai diffyg mawr gyda golwg ar yr Ysgol Sabbothol hyd yn hyn yw, nad oes un cynllun ymarferol mewn cysylltiad â'r sefydliad i roi dysg a chyfarwyddiadau i'r athrawon. Yn gyffredin, y mae rhyw ddarpariaeth i gymhwyso rhai i droi ymhob cylch arall o bwys; ac fe ddylai y diffyg o hyn, gyda golwg ar gylch pwysig swyddogion yr Ysgol Sabbothol ar bob cyfrif, gael ei wneyd i fyny yn ddioed. Dylid neillduo yr adegau mwyaf cyfleus i'r athrawon a'r athrawesau gydgyfarfod, a gwneyd defnydd o'r moddion mwyaf priodol er eu cymhwyso, hyd y gellir, i lanw eu swydd bwysig yn y modd mwyaf effeithiol. Hyd nes ceir hyn yn beth ymarferol, nis gall yr Ysgol Sabbathol mewn llawer man ond cerdded megys wrth ffyn baglau.

3. Y dyledswyddau yn yr Ysgol.

Y mae yn ofynol i'r athrawon yn yr Ysgol ymdrechu ymddwyn yn y modd mwyaf effeithiol er ennill serchiadau a chael gafael ar feddyliau eu dysgyblion, yr hyn sydd hanfodol anghenrheidiol mewn trefn i fedru cario dylanwad arnynt, er gallu gwneyd iddynt wir lesâd. Heb hyn gall yr athraw ymdrechu a llafurio gyda ei ddosbarth heb gael llawer mwy o effaith arnynt er daioni, nac ateb fawr fwy o ddyben, na gwaith y gof a fyddai yn curo ar haiarn oer; felly cyn y gall yr athraw fod yn ddefnyddiol yn ei swydd, y mae yn rhaid iddo osod hyn yn nod gwastadol o'i flaen i gyrchu ato, a pheidio byth a cholli ei olwg arno.

Y mae yn ddyledswydd arbenig ar holl aelodau yr eglwys, heblaw bod yn gyson yn yr Ysgol, fod yn barod hefyd bob amser i wneyd eu goreu i fod o ryw les ynddi; nid ymgeisio at hunan-lesâd yn unig, heb gadw mewn golwg lesâd eraill hefyd. Ceir gweled rhai yn ymddwyn yn yr Ysgol fel pe na byddent yn meddwl gofalu dim am les neb ond eu lles eu hunain. Nid yw yr ymddygiad yna y mwyaf teilwng o rai yn proffesu eu hunain yn ddilynwyr i'r Hwn "a gerddodd oddiamgylch gan wneuthur daioni." Hyn sydd yn peri trafferth nid bychan yn aml i'r arolygwr gael athraw i gymeryd gofal dosbarth a fyddo yn sillebu, neu yn dysgu y wyddor. Ond dylai eu hawydd am wneuthur daioni fod mor gyffredinol ag a fyddai i sicrhâu i'r arolygwr ufudd-dod gwastadol. Cariad yw y prif gymhellydd i wneyd dyledswyddau yr Ysgol Sabbothol, fel holl ddyledswyddau crefydd bur. Y mae cariad y credadyn yn nghyflawniad y dyledswyddau hyn yn brif egwyddor weithredol, ac wrth hyny yn amlygu ei hun yn ei wahanol agweddau yn eu hamrywiaeth, fel y mae y prif gymhellydd i'w

cyflawni, fel y gallwn ddyweyd pan yn eu gwneyd yn briodol, "Y mae cariad Crist yn ein cymhell ni." Ymddengys fod cariad, nid yn unig y brif egwyddor foesol gymhelliadol, ond hefyd yn sylfaen ein cymhellion mewnol eraill. Yna, er fod yr egwyddor wedi ei halogi gan bechod, nid ydyw wedi newid ei nodwedd gymhelliadol; ond cariad Crist yn ei nodwedd sanctaidd, haelfrydig, a nerthol, sydd yn cymhell y credadyn i weithgarwch crefyddol. Felly mor rymus y dylai ein cariad at Grist fod fel cymhelliad i weithio gyda ei waith ef, tra y mae yn talu mor dda am ei weithio, mewn canlyniad iddo ef fyned i'r fath draul i'w agor, yr hyn a gostiodd iddo ddisgyn i barthau isaf y ddaear, a llafurio mor galed hyd nes oedd yn chwysu dafnau cochion, megys o waed, a myned trwy *tunnel* tywyll marwolaeth y groes, trwy yr hwn yr aeth pan oedd wedi ei dywyllu â thywyllwch, a'i gau i fyny â dyoddefiadau marwolaethau heb rifedi. Felly, y mae ei waith ef, o herwydd iddo fyned i'r fath draul i'w agor, yn talu fyrddiynau o weithiau yn well am ei weithio nag un gwaith a agorwyd erioed.

Ac fel y mae'r gwaith y disgynodd ef o'r fath uchder i'r fath ddyfnder i'w agor, yn troi allan gyfoeth o'r fath ag a fydd i godi ac i ddyrchafu yn dragywyddol bawb a weithiant ynddo, felly y mae y gwaith y costiodd ei agor iddo ef y fath farwolaeth yn troi elw tragwyddol ar lafur amserol, i wobrwyo ei holl weithwyr; ac y mae y gweithwyr yn yr Ysgol Sabbothol yn cael y fraint o fod yn *shareholders* yn y gwaith ardderchog hwn, fel y maent hwy yn y rhan hono a weithir ganddynt megys yn codi meini, eu naddu, a'u parotoi i'r Arglwydd i adeiladu Sïon—yr adeilad fydd mor ardderchog, mawreddog, a gogoneddus, fel pan fydd yr Arglwydd wedi ei orphen y gwelir ef yn ei ogoniant; ac y mae yn eu rhan hwy o'r gwaith fwngloddiau cyfaddas i gael o honynt berlau i addurno coron y Cyfryngwr, ac y bydd tragywyddoldeb yn ychwanegu yn barhâus at eu prydferthwch, eu dysgleirdeb, a'u gogoniant.

HOPKIN HOPKINS.

*Capel y Cwm,*
*Llansamlet.*

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD XII.

*Ar yr Aelwyd.*

GAN nad pa ddoniau eraill yr wyf yn amddifad o honynt—ac y mae y rhai hyny yn llawer—yr wyf yn meddwl fod genyf achos diolch am gôf da. Yn wir, ni buaswn yn dechre ar yr hunangofiant hwn oni buasai fy mod yn ymwybodol cyn cychwyn y rhoddasai ei ysgrifenu yn fy oriau hamddenol fwy o bleser nag o lafur i mi. Wrth i mi droi i fyny y naill amgylchiad a'r llall yn fy hanes, yr wyf yn cael fod i bob amgylchiad ei deulu a'i berthynasau, y rhai sydd yn adgyfodi yn fyw o flaen fy meddwl. Yn gyffelyb fel y bydd un with edrych dros becyn o hen lythyrau: y mae i bob llythyr ei deulu anysgrifenedig, ac y mae ambell lythyr yn peri i un feddwl am eraill a losgwyd, ond y rhai nas gellir eu llosgi o'r cof. Darllenir rhai gyda boddhâd, eraill gyda phrudd adgofion, ac eraill a gynhyrfant ein holl natur, gan ddeffroi teimladau a syniadau y tybid eu bod wedi myned ar ddifancoll, ond sydd o hyd yn fyw yn ogofeydd y meddwl a chilfachau y cof.

Er fod y noswaith y diarddelwyd fy mrawd Bob yn cael ei rhestru genyf ymhlith nosweithiau tywyll fy mywyd, nid ydyw heb ei hochr oleu. Parodd yr amgylchiad i mi fyfyrio a dyfalu pa beth oedd crefydd, a pha beth oedd yn cyfansoddi pwysigrwydd a chysegredigrwydd aelodaeth eglwysig. Yr oedd genyf eisoes ryw fath o syniad fod gwahaniaeth mawr rhwng crefyddwyr a "phobl y byd," fel y gelwid hwy gan fy mam; ond nid oedd y syniad, y mae arnaf ofn, yn ddim mwy na bod y rhai blaenaf yn cyfranogi o Swper yr Arglwydd unwaith yn y mis, ac yn peidio meddwi a thyngu a rhegu, a'r rhai olaf at eu rhyddid i wneyd pob drwg os dewisent, am nad oeddynt yn perthyn i'r seiat. Ond rywfodd, y noswaith hono, aethum i ammheu fy syniad, ac i ddechre meddwl fod rhywbeth mwy nag a enwais yn cyfansoddi y gwahaniaeth. Gofynwn i mi fy hun a wnai Bob, tybed, gan nad oedd mwy yn aelod eglwysig—a wnai efe feddwi yn achlysurol? a wnai efe dyngu a rhegu yn awr ac yn y man? a wnai efe roddi heibio ddarllen y Bibl a llyfrau da eraill, a gwneyd helynt yn y tŷ yr un fath a Pitar y potiwr? pan nad allwn gael fy hun i gredu hyny. Ymholwn hefyd a fyddai Bob allan o'r seiat yn waeth ac yn salach dyn na John Llwyd, yr hwn oedd yn y seiat. Yr oedd hyny hefyd yr un mor anmhosibl yn fy meddwl i. Beth ynte oedd yn gwneyd dyn yn grefyddwr? Bu yr amgylchiad hefyd yn achlysur i mi

ffurfio syniad uchel am grefyddolder fy mam. Dichon mai yr ymgòm a gymerodd le rhyngddi hi â fy mrawd Bob a barodd i mi feddwl felly am dani. Ymdrechaf groniclo yr ymgòm mor gywir âg y gall fy nghof fy ngwasanaethu. Wrth gwrs ni wyddai fy mam fy mod wedi clywed yr holl ymdriniaeth ar achos Bob, ac nid gwiw oedd iddi gael gwybod fod Wil Bryan a minnau wedi bod yn llechu yn llofft y capel. Bob amser, pan fyddem oll fel teulu yn myned i'r capel, byddai yr olaf a adawai y tŷ yn cuddio agoriad y drws o dan y twb dŵr, er mwyn i'r cyntaf a ddychwelai gael mynediad rhwydd i'n castell. Yr oedd hwn yn un o'r *family secrets*. Gan mai fi o ran trefn a ddylasai fod adref yn gyntaf, prysurais; ac yr oeddwn wedi cael eistedd i lawr rhyw ddau fynyd cyn i fy mam gyrhaeddyd; ac er fy mod â fy ngwynt yn fy nyrnau, ceisiais ymddangos fel pe buaswn yn ei dysgwyl er ys amser, a dywedais ei bod wedi bod yn hir iawn. "Hir yw pob ymaros," oedd ei hunig ateb, tra yr hongiai ei chlôg lâs a'i bonet fawr ar hoel tu ol i'r drws. Mae yn rhaid fod Bob wedi bod yn ymdroi gyda'i gyfeillion ar ol dyfod o'r seiat, oblegid yr wyf yn cofio fod y swper wedi ei barotoi er ys meityn cyn iddo ddychwelyd. Wedi hir aros, gwnaeth ei ymddangosiad, ac edrychai yn brudd a digysbryd; ac mewn dystawrwydd eisteddodd i lawr, gan gymeryd llyfr i'w ddarllen. Nid heb ei gymhell yn fawr y daeth Bob at y bwrdd i gymeryd swper; a sylwais yn fuan nad oedd ef na fy mam yn gwneyd nemawr o'u hôl arno. Gan fy mod wedi cael cryn faich oddiar fy meddwl, càn belled ag yr oedd a fyno dysgyblaeth eglwysig â mi yn bersonol, ac o herwydd fy mod yn gweled mai gresyn a fuasai i'r ymborth fyned yn ofer, gwnaethum fy ngoreu i roddi cymaint o hono o'r golwg ag a allwn. Ar ol swper, aeth Bob eilwaith at ei lyfr, a chlosiodd fy mam ei chader yn nês at y tân. Gwyddwn ar ei hosgo ei bod yn bwriadu dechre ymddyddan; oblegid byddai ganddi arferiad pan yn hel ei meddyliau at eu gilydd o bletio ei ffedog.

"Wel, 'y machgen i," ebe hi yn y man, "noswaith go dost ydi hon yn dy hanes di a mine. Er tloted ydw i, mi fase yn well gen' i na chan' punt bydase yr hyn gymerodd le heno heb ddygwydd."

Byddai Bob yn siarad dipyn yn fwy grammadegol na fy mam, ac mewn atebiad iddi dywedodd,—

"Nid ydwyf yn gweled, mam, paham y rhaid i chwi edrych ar yr hyn a gymerodd le heno yn y wedd yna. Ni wnaiff hyny newid dim ar yr hyn ydw i o ran fy nghymeriad. Nid ydyw bod yn y seiat yn sicrhâu cadwedigaeth neb, na bod allan o honi yn sicrhâu ei golledigaeth."

"Rhys," ebe fy mam, gan droi ataf fi, "gwell i ti fyn'd i dy wely."

"Yn union deg," ebe finnau, a rhoddais fy mhen i orphwys ar y bwrdd, gan gymeryd arnaf gysgu. Nid wyf yn sicr na ddarfu i mi chwyrnu. Y fath lwynog o hogyn oeddwn! Darfu i fy ymddygiad daflu y ddau oddiar eu gwyliadwriaeth.

"Bob," ebe fy mam, "yr ydw i yn goleithio nad wyt ti ddim yn meddwl y peth wyt ti yn ei ddeyd. 'Rwyt ti yn deyd cymin o bethe yn ddiweddar, er's pan wyt ti'n codlo hefo'r hen lyfre Sasneg yne, fel y mae yn anodd gen' i feddwl dy fod di yn credu pobpeth 'rwyt ti yn ddeyd."

"Mam," ebe Bob, a chlywais ef yn rhoi ei lyfr ar y bwrdd; "gwyddoch o'r goreu nad oes dim twyll ynof, ac nad oes dim ar y ddaear casach genyf na rhagrith. Mae yn fil gwell genyf gael fy niarddel o'r eglwys am ddyweyd y gwir na chael fy ngoddef ynddi am wneyd blawd wyneb, a dyweyd yr hyn nad ydwyf yn ei gredu nac yn ei deimlo. Mi wn fod fy niarddeliad yn ergyd drom i chwi, mam, ac y mae yn ddrwg genyf am hyny; ond gan mai felly y gwelai yr eglwys yn oreu wneyd â mi, yr wyf yn eithaf boddlon."

"Beth? fy machgen," ebe fy mam, "wyt ti ddim yn rhoi pris ar fod yn aelod eglwysig?"

"Nac ydwyf," ebe Bob, "os rhaid i mi brynu fy aelodaeth drwy ragrithio. Chlywsoch chwi erioed mohonof o'r blaen yn siarad am danaf fy hun, nac yn grwgnach; ond mi wyddoch o'r goreu na ddarfu i fy nhad na chwithau feddwl am roi diwrnod o ysgol i mi. Cefais dyfu i fyny yn hollol anwybodus o bobpeth oddigerth o bethau'r Bibl; ac anfonwyd fi i'r gwaith glo pryd y dylaswn fod yn yr ysgol, ac yr oeddwn yn golier profiadol cyn bod yn un ar bymtheg oed. Pan ddaethum yn ddigon synwyrol i deimlo fy anghen am ddysg, ymroddais â fy holl egni yn fy oriau hamddenol i ddysgu Saesoneg, heb help neb byw, a thra yr oeddych chwithau yn cwyno yn feunyddiol fy mod yn dyfetha canwyllau. A dyweyd y lleiaf, yr wyf wedi bod mor ffyddlon yn y capel â neb o'm cyfoedion. Yr wyf yn athraw yn yr Ysgol Sul oddiar pan oeddwn yn ddwy flwydd ar bymtheg. Nid wyf yn canmol fy hun; ond gwyddoch, er pan fu yr helynt hefo fy nhad, fy mod wedi gweithio yn galed, a gwneyd fy ngoreu i gadw cartref i chwi a Rhys. Yr wyf wedi dyoddef yn ddystaw yn y gwaith glo lawer awgrymiad a chyfeiriad cas a chïaidd at ein helynt teulu idd, a hyny er eich mwyn chwi a Rhys; oblegid beth a ddaethai o honoch chwi pe yr aethwn oddicartref?

Gwyddoch nad ydwyf erioed wedi gwario ceiniog am oferedd; a'r holl arian a allwn eu hebgor yr oeddwn yn eu defnyddio i brynu llyfrau, neu yn eu rhoddi ar lyfr yr eglwys. Heblaw hyny, yr wyf wedi ymdrechu er's blynyddau i gyfranu i Rhys hyny o wybodaeth a fedrwn i ei rhoddi iddo, rhag iddo yntau, os oedd bosibl, fod yn golier tlawd fel fy hunan. Wrth weled fy mrawd yn cael cam a'i faeddu yn ddidrugaredd, gwnaethum yr hyn a fuasai pob un â gronyn o ddynoliaeth ynddo yn ei wneyd, sef rhuthro ar yr hwn oedd yn ei drin felly, a'i achub fel yr achubodd Dafydd yr oen o grafanc y llew. Ond yr oedd hyn yn bechod mawr yn ngolwg y seiat, yn enwedig yn ngolwg rhyw bersonau ynddi; a diammheu y byddant yn teimlo yn hapus iawn bellach wedi cael gwared o greadur mor lygredig â mi."

"Wyddost ti be?" ebe fy mam, "'rwyt ti yn swnio yn debyg iawn i ddyn hunangyfiawn. 'Rwyt ti yn gneyd i mi feddwl am y dyn hwnw oedd yn dechre y cyfarfod gweddi yn y demel es talwm. Mae 'i dinc o gynat ti i'r dim. Mae càn lleied o sŵn y publican yn dy lais ar ol dwad gartre' ag oedd ynddo yn y seiat. Be sydd wedi dwad drostot ti, dywed? Mae rhyw stiffrwydd rhyfedd ynot ti yn ddiweddar. Gweddïa, 'y machgen i, am ras, ac am gael teimlo'r cortyn a gwel'd dy fratiau budron. Bydase ti o flaen dy well yn y chwarter sesiwn, mi fase yn burion i ti son am dy rinweddau; ond yn y seiat ac o flaen dy Farnwr, gore po leiaf y soni di am danyn' nhw ond wrth yr enw y daru i Paul eu bedyddio nhw, sef 'tom a cholled.' Wyddost ti, Bob? yr ydw i wedi dy ddowtio di er's tro fod rhyw syniadau yn cael lle yn dy galon na chêst di monyn nhw yn y Bibil, ac y mae hyny wedi costio llawer noswaith o gysgu i mi."

"Y chwi, mam," ebe Bob gyda theimlad, "sydd yn fy adnabod oreu o bawb, ac y mae yn rhaid fy mod yn hynod mewn drygioni gan fod fy mam fy hun yn coleddu meddwl mor isel am danaf. Myfi yn ddiammheu ydyw y dyhiryn gwaethaf yn y gymydogaeth. Wel, bydded felly."

"Nage, fy machgen, nid felly chwaith," ebe fy mam. "Fel bachgen da wrth ei fam, ni fu dy well yn y chwe' sîr, a chês i 'rioed brofedigaeth hefot ti yn y ffordd hono; ac y mae gen' i ddiolch mawr i ti, ac i'r Brenin mawr, am dy garedigrwydd yn gweithio mor galed i gadw cartre' i dy fam a dy frawd. Ond am dy enaid di yr ydw i yn son yrwan. Dydi o fawr o bwys a gaf fi damed ai peidio; ond y mae o anfeidrol bwys, fy machgen anwyl, fod dy enaid di a mine dan orchwyliaethau Ysbryd Duw. Bendigedig fyddo ei enw Ef! nid ydyw yn gadel llonydd i mi, ac yr wyf yn credu ei fod yn meddwl gneyd rhwbeth o hona i; ac O na allwn gael lle i feddwl fod o'n siarad rhwbeth hefot tithau! Mae dy weled mor ddidaro am gael dy ddiarddel yn tori fy nghalon, fy ngwas gwirion i. Oddiallan y mae'r cwn—oddiallan y mae'r ddryghin a'r ystorm. Yr wyt wedi myned allan o gylch y cyfammod a'r eiriolaeth—yr wyt wedi colli'r cysgod, Bob bach."

"Gwaith yr eglwys oedd barnu pa un ai allan ai i mewn yr oeddwn i fod; yr eglwys ddarfu fy niarddel, nid y fi," ebe Bob.

"Nage, fy machgen," ebe fy mam, "dy waith di dy hun oedd o; a mi ddyle fod gynat ti gywilydd o hono. Dy waith di yn gwrthod edifarhâu ac addef dy bechod, fel yr oedd y Salmydd yn gwneyd, a wnaeth i'r eglwys dy dori allan. Sawl gwaith y daru Thomas Bowen, ys gwn i, grefu arnat heno i syrthio ar dy fai, a thithau yn gwrthod? Na, poen fawr oedd i'r eglwys dy ddiarddel; ond be allet ti ddysgwyl heb i ti edifarhâu? Wiw i ti ddysgwyl maddeuant gan Dduw na dyn heb edifeirwch."

"Fedra i ddim cydymffurfio âg opiniynau pobl hen ffasiwn pan fydd fy syniad i fy hun yn groes i hyny," ebe Bob; "a beth feddyliech chwi oedd Mr. Brown y person yn ei ddyweyd wrthyf heddyw wrth son am y peth? Yr oedd ef yn chwerthin am ben y cyfan, ac yn gobeithio y gwnai y gurfa a roddais i'r Hen Sowldiwr les iddo."

"Bob," ebe fy mam, wedi twymno nid ychydig? "paid di a siarad am athrawiaethau mawr yr efengyl fel pethau 'hen ffasiwn' yn fy nghlyw i, goreu i ti."

"Ddarfu i mi ddim gwneyd hyny," ebe Bob.

"Mi ddarut wneyd rhwbeth tebyg iawn." ebe fy mam. "Ffasiwn ydi edifeirwch, wel di, y bydd raid i ti gydymffurfio â hi, ne nid ëi di byth i'r bywyd. Ffasiwn ydi hi, Bob, sydd wedi gneyd miloedd yn fyddigions am dragwyddoldeb. Ond mi ddeyda i ti pryd y bydd hi yn *hen* ffasiwn: pan fydd yr haf wedi darfod, a chyneua' yr enaid wedi myn'd heibio. Mi fydd yno lawer y pryd hyny yn troi at yr hen ffasiwn pan fydd hi yn rhy ddiweddar. Gweddïa, fy machgen, rhag bod yn un o honynt. Ac am Mr. Brown, rhad arno fo! Un brâf ydi o i gyfarwyddo pobol ifinc! Bydaswn i eisio cynghor i fy enaid, nid aethwn i byth ato fo, rhag hwyrach mai yn y caeau y buase fo yn saethu cwningod. Pob parch i Mr. Brown fel cymydog caredig, ond da y dywedodd Tomos o'r Nant am dano fo a'i *sort*. Er nad oedd Tomos y peth y dylase fo fod, yr oedd o yn ei hitio hi yn o lew:

'Nid oes un i'w ganmol na'i berchi yn gymhwys
O flaen efengylaidd weinidog eglwys;
Nac un yn fwy melldith na hwnw 'n fyw,
Oni fydd Duw yn ei dywys.'

Gwyn fyd na chai Mr. Brown ddeuparth o ysbryd hen Ficer Llanymddyfri. Felly y buase y Ficer yn deyd wrthat ti, os ydw i yn cofio yn dda,—

'Edifara cynte gallech,
Ti ymg'ledi pan ddyhiriech;
Rhag i'th galon ymgaledu,
Duw fyn it' repento heddy'.

'I'r rhai ffyddlon edifeiriol,
Mae Duw 'n ffyddlon ac yn rasol;
Ond i'r cyndyn cas gwrthnysig,
Mae Duw 'n greulon ac yn ffyrnig.'

A mi ŵyr dy gydwybod di pa un ai Mr. Brown ai yr hen Ficer sydd yn ei le."

"Pob parch, chwedl chwithau," ebe Bob, "i'r hen Ficer; ond dydw i ddim yn credu fod Duw yn 'greulon ac yn ffyrnig' un amser, llawer llai wrthyf fi am yr hyn a wnês i'r Hen Sowldiwr. Mae y Bibl yn fy nysgu i mai Duw cariad yw."

"Beth?" ebe fy mam; "wyt ti ddim yn myn'd i amme geiriau yr hen Ficer duwiol oedd yn gwbod ei Fibil yn fil gwell na thi gannoedd o flynyddoedd cyn dy eni di? Ddeydaist ti 'rioed well gwir mai Duw cariad yw. Oni bae am hyny, wel di, ffarwel fase hi am fywyd ac etholedigaeth gras, fel y clywes i Mr. 'Lias yn deyd ar *Green* y Bala—coffa da am dano. Pwy fedre ddeyd yn well?—yn well yn wir—pwy fedre ddeyd chwarter cystal â Mr. 'Lias am

'y cariad sydd yn awr
Yn curo pob cariadau i lawr!'

Ond be bydase ti yn 'i glywed o yn deyd am gyfiawnder Duw a'i ddigllonedd wrth yr annuwiol, mi fase dy wallt di yn sefyll yn syth bin ar dy ben di. Os wyt ti yn myn'd i goleddu rhw syniade fel ene, Bob, waeth gen' i Wesle na thithe yr un blewyn. Na, fy machgen, mae y Ficer yn 'i le—mae Duw yn ddigllon beunydd wrth yr annuwiol; a mi wyddost hyny yn well nag y medra i ddeyd wrthat ti."

"Nid oes genyf ysbryd nac awydd i ymddadleu â chwi, mam," ebe Bob.

"Ys gwn i prun am hyny," ebe fy mam; "ysywaeth yr ydw i yn dy wel'd di yn rhy iach dy ysbryd o dipyn. Yr oeddwn i yn rhw ddirgel obeithio mai ffit o ystyfnigrwydd oedd wedi dwad atat yn y seiat, a bod dy galon di yn well na dy dafod; ond mi welaf fy mod wedi camgymeryd, a mi welaf hefyd fy mai am na buaswn wedi closio atat ti er's llawer dydd i ymddyddan â thi am dy gyflwr. 'Does gen' i ond gweddïo, fy machgen, am i Ysbryd Duw ymweled â dy enaid. Wel," ychwanegai fy mam gydag ochenaid, "mae mwy o anghen nag a weles i es gwn i pryd am adfywiad ar grefydd i ddwyn uchder ysbryd pobol i lawr, ac i'w dwyn at eu dyledswydd."

"Pan ddêl Efe," ebe Bob, "bydd ganddo lawer mwy o waith na hyny i'w wneyd. Bydd ganddo wmbreth o gybydd-dod a chrintachrwydd, pethau sydd yn pasio yn awr o dan yr enw cynnildeb, i'w carthu allan o'r eglwysi. Bydd rhagrith, barn gul, a diffyg cariad cristionogol, y rhai sydd yn awr yn dwyn yr enwau sancteiddrwydd, manyldeb, a zel dros ddysgyblaeth eglwysig, yn dyfod o dan yr un dynged ag a ddaeth i'm cyfarfod i heno. Y dydd hwnw—os byth y daw—fe ddadguddir fod rhai o'r bobl oedd yn uchel eu cloch yn fy niarddel i heno wedi cancro a braenu mewn bydolrwydd a budrelw, ac yn gwerthu Iesu Grist am ddeg ar hugain darn arian bob dydd y cyfodant o'u gwelyau. Pan ddaw yr ymweliad yr ydych yn son am dano, mae genyf le i ddysgwyl cwmpeini llïosog—rhai y bydd yn ffaidd genyf eu cydnabod."

"'Rwyt ti yn gadel un peth allan," ebe fy mam; "y dydd hwnw mi fydd pawb â'i law ar bla ei galon ei hun, ac nid yn pigo brychau pobol eraill, ac yn ymgyfiawnhâu ynddynt eu hunain. Ddaru Pedr, wel di, ddim meddwl am fynyd bwyntio at Judas oedd wedi bradychu fel rheswm dros iddo ef beidio edifarhâu am wadu. Na, efe a aeth allan ac a wylodd yn chwerw dost, a mi faswn i yn leicio gweled tipyn o'r un ysbryd ynot tithe, fy machgen." A dechreuodd fy mam wylo, yr hyn, fel y sylwais o'r blaen, a fyddai bob amser yn rhoi terfyn ar wrthddadleuon Bob.

Wedi i fy mam ollwng allan ei theimladau, gafaelodd yn ngholer fy siaced ac ysgydwodd fi gydag egni, heb fawr feddwl fy mod yn berffaith effro yr holl amser; ac ni wybu hi byth am y ffaith. Wedi i mi fyned i'r gwely, myfyriais lawer ar yr hyn a glywswn, yn enwedig ar y cyfeiriadau a wnaed at fy nhad. Ond aeth y noswaith hono heibio fel pob un arall. Ni ddarfu i appeliadau fy mam effeithio nemawr ar Bob. Ar ol ei ddiarddeliad anfynych y byddai yn sôn am bethau crefyddol, nac am y capel, er ei fod yn dal i fyned i'r moddion. Yn y tŷ byddai yn lled ddystaw, a bron bob amser yn darllen, ac ni pheidiodd gyfranu hyny o wybodaeth a allai i mi. Wel, beth a roddaswn heno pe na buasai genyf ddim mwy a dim gwaeth i'w ddyweyd am dano?

—

### METHODISTIAETH RHAN UCHAF LLANDDEINIOLEN.

*Gan y diweddar Barch.* ROBERT ELLIS, *Ysgoldŷ.*

RHAN II.

10. MOR fuan ag y sefydlwyd yr achos yn yr Ysgoldŷ, dechreuodd gynnyddu, fel ymhen pedair blynedd y barnwyd yn ddoeth adeiladu capel arall yn Waen Pentir. Ac felly fu. Ymhen y pedair blynedd drachefn, adeiladwyd y trydydd capel, a adnabyddid wrth yr enw Rhydfawr. Felly dyma dri o gapelau yn y plwyf yn ffurfio taith Sabbothol. Gwanaidd iawn oedd yr achos yn y Pentir a'r Rhydfawr; ond yr oedd yr achos yn yr Ysgoldŷ o hyd yn ennill nerth. Ar ol adeiladu capel Pentir, y mae John Roberts, Castell, a'r teulu yn ymsefydlu yno. Eto byddent yn talu ymweliad achlysurol â'r Ysgoldŷ am flynyddoedd, a byddai barn a chynghor John Roberts bob amser o werth mawr. Galwyd John Rowland, Rhiwlas, yn flaenor gyda John Roberts yn Mhentir. Dewiswyd Owen Owens a William Griffith yn flaenoriaid yn Rhydfawr; a galwyd i'r un gwaith Robert Roberts yr ail, a Rowland Abraham, yn yr Ysgoldŷ. Bellach dyma beiriannwaith crefyddol yn y plwyf, ac y mae yr olwynion yn dechre troi yn lled hwylus. Yr hyn oedd yn ffafriol iawn i achosion gweiniaid fel y rhai hyn y pryd yma oedd, nad ydoedd y tâl am y weinidogaeth yn *trwblo* dim ar neb. Nid oedd y pregethwyr wrth addaw myned yma ac acw yn dysgwyl tâl, na'r eglwysi ychwaith yn ystyried fod hyny yn rhwymedigaeth, dim pellach na rhoddi swllt neu ddau i'r pregethwr ymhob capel at ei dreuliadau. Ac yn wir, dyna y paham y llwyddodd Methodistiaeth mor ryfeddol. Byddai y pregethwyr yn myned i bob man i bregethu, i'r lle gwan fel y lle cryf, tâl neu beidio. Felly yr oedd y lleoedd gweiniaid yn cael yr un manteision â'r manau cryfach. Rywfodd pan y daeth yr eglwysi i gael eu byddaru gan sŵn arian, arafodd eu llwyddiant.

11. Ar ol ymadawiad John Roberts y Castell, Robert Roberts yr ail, Blaenycae, a Rowland Abraham, Brynteg, oedd yr unig flaenoriaid yn Ysgoldŷ dros nifer o flynyddoedd. Yr oedd Robert Roberts o ran ei berson yn ŵr talsyth, cryn lawer o ol y frech wèn ar ei wyneb, ac un dant yn taflu allan. Yr oedd yn ŵr o synwyr cryf, o wybodaeth helaeth, a barn glir ar bobpeth. Yr oedd ei lais a'i ddawn siarad yn anffafriol iddo. Eto yr oedd yn alluog i draethu ei feddwl, ond nid yn ddeniadol. Yr oedd yn alluog i ddywedyd geiriau cyrhaeddgar. Daeth i gael ei ystyried yn ŵr pwysig yn nghynnadleddau Cyfarfod Misol ei sir. Cafodd ei argyhoeddi dan weinidogaeth Hugh Williams, Drwsyddaugoed. Pan gwympodd y pregethwr hwnw, aeth Robert Roberts i betrusder a oedd ei argyhoeddiad o'r iawn ryw ai peidio. Pan aeth i'r *society* y tro cyntaf, yn lle gadael i'r brodyr ei holi ef, y mae efe yn dechreu eu holi hwy, a holi caled fu arnynt. Cawsom yr hanes hwn gan y diweddar Barch. John Williams, Llanrug. Yr oedd efe yn bresennol yn Twllyclawdd ar y pryd. Gwasanaethodd Robert Roberts yr achos crefyddol yn ei ardal yn gyson a ffyddlawn. Yr oedd yn dywysog yn ei ardal, ac edrychai pawb i fyny ato.

Yr oedd Rowland Abraham yn hollol wahanol iddo ef o ran tymher a phobpeth. O ran ei berson, yr oedd yn anferth o faintioli, yn afrosgo, ac yn gwargrymu. Llais mawr aflafar oedd ganddo, a darllenwr bychan ydoedd, ac un o wybodaeth arwynebol iawn. Dywedai y diweddar Barch. Michael Roberts fod Robert Roberts yn gryf yn ei feingefn, ond fod Rowland Abraham yn wanaidd fel merch; ac eto Rowland oedd dyn y bobl. Yr oedd yn hynod gymdeithasgar, ac yn llawer mwy deniadol. Yr oedd yn gampus am gadw seiat a holi plant. Buasai y naill yn gwneyd i fyny ddiffyg y llall yn rhagorach pe buasent yn gallu cyttuno; ond dyna fu eu gwall. Os byddai Robert Roberts yn ceryddu, byddai Rowland agos yn sicr o gymeryd plaid y ceryddedig. Pan oedd Robert yn ceryddu brawd unwaith, dywedai Rowland, "Pe rhoesit ti dy droed ymhob pwll y rhoes Dafydd ei droed, byddai yn haws siarad a thithau, Robin;" ac atebodd Robert Roberts yn ol, "'Does dim eisieu hyny, Rowland; rhoes Dafydd ei draed i ddawnsio, ac i redeg i ddrygioni." Ond daethant yn llawer gwell yn yr ystyr yma tuag at eu gilydd wrth heneiddio.

Camgymeriad mawr a wnaeth Rowland Abraham oedd mynu myned i bregethu, a hyny pan oedd yn 55 mlwydd oed. Yr oedd yn flaenor da, ond aeth i'r gynffon yn hollol pan aeth yn bregethwr. Nid oedd ganddo ddim o honi. Ond y fath y pryd hyny oedd prinder pregethwyr fel yr oedd yn dda cael rhywun. Teithiodd Rowland Abraham gryn lawer gyda'r pregethu, yn benaf fel cyfaill i'r Parch. Daniel Jones; ac yr oedd y ddau yn gyfaddas iawn i'w gilydd. Bu hefyd ar daith gyda Mr. Rees. Yn mlynyddoedd olaf ei oes, yr oedd yn analluog i symud heb gael ei gario o herwydd y cryd-cymmalau. Cariwyd llawer arno ar gadair, wedi ei gwneyd i'r pwrpas hwnw, o'r Brynteg i'r Ysgoldŷ. Mor awyddus ydoedd am bregethu fel y dymunai gael ei gyhoeddi i bregethu yn ei dŷ ei hun. Y *cancer* yn ei wyneb fu yn

angen iddo. Bu Robert Roberts farw ryw nifer o flynyddoedd o flaen Rowland Abraham. Fel yr oedd yn heneiddio, yr oedd ei ysbryd o hyd yn myned yn fwy iraidd ac addfed. Bu farw dan 60 mlwydd oed.

12. Deuddeng mlynedd fu oes capel cyntaf yr Ysgoldŷ. Yr oedd y crefyddwyr a'r gwrandäwyr yn cynnyddu ac yn lliosogi drwy y blynyddoedd hyn yn gyflym. Cododd dwy haid oddiyma, un i Bentir a'r llall i'r Rhydfawr. Eithr nid aeth y deuddeng mlynedd hyn o oes fachgenaidd yr hen Ysgoldŷ heibio heb i'r gelyn wneyd ymdrechion beiddgar i'w dyrysu, a hyny trwy ymrafaelion blinion. Yr oedd fod Robert Roberts a Rowland Abraham ymhob peth bron yn tynu yn groes yn gwneyd y drygau hyn yn waeth. Ond er hyn oll, cadwyd rhyw amddiffyn rhyfedd ar y gwaith. Yr oedd yr eglwys yn cynnyddu yn gyson a pharhâus. Yn y deuddeng mlynedd hyn daeth amryw benau teuluoedd yn yr ardal yn aelodau eglwysig, megys Robert Evan y Celyn, John Ffoulkes, Maesydref, Ellis Evan y Garnedd, a Ffoulk Evan ac eraill, oll yn wŷr grymus, ynghyd a'u gwragedd. Yr oedd Dafydd Ffoulkes, Tŷ newydd, Blaenycae, a'i wraig Anne Roberts, yn aelodau yn Llanrug, ac felly yn y fyntai a symudodd i'r Ysgoldŷ ar y cyntaf. Dafydd Ellis, Clwtybont, a fyddai yn arwain y canu, ac yr oedd yn lled fedrus, ond gŵr anhydrin ydoedd efe ymhob cymdeithas. Ac felly gadawodd y Methodistiaid, a bu yn offeryn i gychwyn achos yr Annibynwyr yn Ebenezer. Yn y flwyddyn 1818 y torodd allan Ddiwygiad Mawr Beddgelert, fel y gelwid ef, a pharhaodd i ennyn drwy y wlad am y blynyddoedd dyfodol. Y canlyniad oedd i'r Ysgoldŷ, fel lliaws o gapelau eraill, fyned yn rhy fychan. Penderfynodd y brodyr gael capel helaethach.

13. Yn y flwyddyn 1820, adeiladwyd yr ail Ysgoldŷ, yn mesur 11 llath wrth 8 oddifewn. Codwyd hefyd cyn hir ddwy groglofft, un ar bob talcen iddo. Adeilad plaen oedd hwn, hollol ddiaddurn. Yr oedd hefyd dŷ capel wedi ei godi ynglŷn â'r adeilad cyntaf. Nid oedd ond un ystafell yn cael ei rhanu yn ddwy neu dair gan y dodrefn; ac felly yn adeg yr ailadeiladu, gwnaed un rhan o'r tŷ yn siamber i'r pregethwyr, yn cynnwys gwely a dwy gadair, bwrdd a lle tân, a lloriwyd hi â choed. Mae y llawr coed hwn i'w weled yn yr hen dŷ hwn eto, yn ddarn dwy lath ysgwar. Dyma lle y byddai y pregethwr am rai tymmorau yn bwyta, gorphwys, a chysgu. Ar y cyntaf byddai pregethwyr yn cael llettŷ yn Blaenycae, gyda'r hen frawd Robert Roberts, ac hefyd yn y Castell. Ond yn oes yr ail gapel, byddai llawer yn cael llettŷ yn y Fron chwith hyd nes y cafodd y wraig ei lladd. Y tŷ capel oedd y prif lettŷ. Cedwid y tŷ capel yr adeg yma gan Thomas ac Elizabeth Jones, ac yr oeddynt yn rhai cymhwys iawn. Cafodd Thomas Jones ei ladd yn y chwarel yn ystod yr amser yr oedd y trydydd Ysgoldŷ yn cael ei adeiladu.

Nis gwyddom pa bryd y daeth John Roberts a'i wraig Catherine Rowlands, Fronchwith, yn aelodau o'r eglwys yn Ysgoldŷ. Gŵr a gwraig heb ddim plant oeddynt, ac mewn amgylchiadau cysurus. Yr oedd y wraig Catherine yn ddynes ragorol, yn brydferth o ran ei pherson, yn fenyw synwyrol, ac o ymddygiad boneddigaidd. Bu y Fron chwith am ei hoes hi yn llettŷ cysurus i bregethwyr. Ond cyfarfu y wraig hon âg angeu dychrynllyd. Aeth dyn a fu yno yn was, ond a aethai i weithio i'r chwarel, yn orphwyllog. Daeth o'r chwarel un diwrnod, ac aeth i Fron chwith gyda'r amcan o ladd John Roberts. Cafodd afael mewn cryman, ac aeth i'r tŷ i chwilio am y gŵr. Gwelodd y wraig y perygl, a neidiodd at y dyn i geisio dwyn y cryman oddiarno, pryd y dechreuodd yr adyn ei dryllio, fel y bu farw ar ol diwrnod a noswaith o boenau arteithiol. Y tro mwyaf trychinebus yn yr ardal hon fu y llofruddiaeth hwn; ac hyd y gwyddys dyma'r unig anfadwaith o'r natur yma a fu yn ein plith erioed.

14. Nid ydym yn sicr pa un ai yn niwedd oes yr Ysgoldŷ cyntaf ynte yn nechre yr ail y galwyd Robert Evan y Celyn a John Ffoulkes, Maesydref, i fod yn flaenoriaid. Eithr hyn sydd sicr, mai hwy a ddaethant i'r swydd gyntaf ar ol dewisiad Robert Roberts a Rowland Abraham. Buont yn cydflaenori eu pedwar am lawer o flynyddoedd. Yr oedd y brodyr hyn, John Ffoulk a Robert Evan, mewn amgylchiadau da a chlŷd, a throisant allan yn flaenoriaid teilwng o'r enw. Gwasanaethodd y ddau swydd diaconiaid yn dda. Cydnabyddodd y ddau yn bur rhwydd eu lle fel yn ail i'r ddau frawd crybwylledig oedd yn y swydd o'u blaen, a chydnabyddai y ddau fod Robert Roberts ymlaen arnynt nid mewn oed yn unig, ond mewn barn a synwyr hefyd. Felly ni fyddent byth yn ei groesi. Ond nid da iawn y byddai y ddau yn gallu cyd-ddwyn â'u gilydd. Gwelsom hwy lawer gwaith yn myned ar draws eu gilydd, a hyny ar g'oedd yr eglwys. Trwy ryw foddion, daeth cyfnewidiad trwyadl drostynt. Dichon iddynt gael eu galw i gyfrif. Ac er bod y ddau o dymherau gwahanol, daethant i gydweithredu yn y modd mwyaf trwyadl. Byddai y naill bob amser yn syrthio i olygiad y llall, ac ni wnai y naill

ddim heb ymgynghori â'r llall. Gan *Siôn Ffowc*—felly y gelwid ef—yr oedd y ddawn i *ddywedyd*, a byddai llawer o ryw wreiddioldeb yn ei sylwadau. Dyn garw ydoedd, heb ei goethi gan ddim ond gan ras. Yn wir, yr oedd rhywbeth yn arw yn ei ras ef ragor eraill. Yr oedd yn ddarllenwr mawr. Ei hoff waith oedd Esboniad Matthew Henry; a rhyw sylwadau o eiddo Matthew Henry fyddai ganddo bob amser yn nechre y cyfarfod eglwysig. Dywedai ei feddwl yn rhwydd ac ar ei union, bydded y canlyniadau y peth y byddont. Mae llawer o'i ddywediadau eto ar gael a chadw. Gwel ei gofiant yn y DRYSORFA (Awst 1857, tu dal. 28). Nid oedd Robert Evan yn meddu llawer o ddawn i draethu, ond yr oedd yn meddu y gallu prin o ddywedyd llawer mewn ychydig. Byddai ei ddywediad ef yn ddiweddglo ar bobpeth. Pan y dywedai ef ei air byr, ni ddywedai neb air ar ei ol. Bu John Ffoulk farw Medi 2, 1856, a Robert Evan Mai 5, 1863. (Gwel byrgofiant yn NHRYSORFA Awst 1867, tu dal. 313).

15. John Ffoulk yn cael gwraig! Bu yn ddyn gwyllt yn more ei oes. Pan tua 29 mlwydd oed y daeth at grefydd. Yr oedd ei fam, Siân Morris, Penllyn, wedi ei gadael yn weddw gyda thyaid o blant heb hanner eu magu. Yr oedd John yn hynaf ond un o honynt. Bu yn gweithio am dymmor yn chwarel Cae braich cafn. Er ei fod yn cael cyflog da, eto rhoddai y cwbl i'w fam tuag at fagu y twr plant. Ond gofalodd Rhagluniaeth am ei roddi yn y nŷth clytaf yn yr holl ardal. Rywbryd pan oedd tua 32 mlwydd oed, daeth i'w feddwl briodi. Yr oedd un prydnawn Sadwrn yn yr haf wedi myned i'r mynydd i edrych am ei ddefaid. Yr oedd *Taith y Pererin* ganddo yn ei boced. Rhoes ei hun i lawr mewn llanerch o redyn yn ochr y Bigil, a thynodd y llyfr allan i'w ddarllen. Ac wrth ddarllen hanes un o feibion Cristiana yn priodi Trugaredd, saethodd i'w feddwl y byddai yn well iddo yntau gael gwraig. Yr oedd, pan yn ddyn gwyllt, wedi bod, fel pob dyn ieuanc, yn canlyn rhywrai o'r lodesi. Ond yr oedd er ys blynyddoedd wedi marw yn llwyr i bobpeth o'r fath. Y pryd hwn, yn ochr y Bigil, dyma y syniad o gael gwraig yn disgyn i'w feddwl fel —— mewn moment; ac wrth adrodd yr hanes arferai ddyweyd, "A mi a'i gwelais hi ar unwaith." Cyfododd y mynyd hwnw, ac aeth am dani. Aeth ar ei union i Maesydre, lle yr oedd merch ieuanc yn aros gyda'i hewythr, Robert Williams, hen lanc cyfoethog. Siân Gruffudd y gelwid y llances, ac yr oedd yn llances sàd a chrefyddol, yn aelod eglwysig yn yr Ysgoldŷ. Daeth John Ffoulk o hyd i Siân Gruffudd yn godro yn y fuches, a dywedodd wrthi, "Wyddost ti beth, Siân? rhaid i ti fy mhriodi i." Atebodd hithau, "Aros, rhaid *cysidro* mater fel yna." "Na," dywedai yntau yn ol, "'does dim *cysidro* o honi, rhaid i mi dy gael di yn wraig." Felly y bu. Ac ni bu mab erioed yn fwy hapus yn ei gysylltiad priodasol. Rhoddodd Robert Williams, Maesydref, ei gwbl i'r ddeuddyn ieuainc hyn. Cawsom yr hanes hwn gan John Ffoulk ei hun.

16. Cawsom hanesyn arall gan John Ffoulk gwerth ei gadw. Yr oedd nosweithiau llawen unwaith yn bethau cyffredin yn yr ardaloedd hyn. Un amcan i'r nosweithiau llawen hyn oedd i roddi cyfleusdra i gymydogion helpu eu gilydd fel y gwneir trwy gyngherddau a darlithiau elusenol y dyddiau hyn. Pan y byddai teulu yn ceisio help, byddai hyny naill o herwydd rhyw aflwydd neu afiechyd, neu tuag at ddechre byw. Pan adeiledid tŷ newydd, byddai y pâr ieuanc yn ceisio brâg ac yn darllaw. Cyhoeddid noswaith lawen i brynu ac i yfed y cwrw. Gelwid hefyd am grythwr *(fiddler)* neu delynor. Yr oedd crythwr neu delynor mor anhebgorol i gymdeithas â chrydd neu deiliwr. Ac ar y noswaith benodedig, byddai y cymydogion yn hel ynghyd i dŷ y gyfeddach i yfed, canu a dawnsio.

Yr oedd noswaith lawen o'r fath yma yn cael ei chynnal yn nhŷ Owen William Owen, o'r naill du i Benisa'r waen, lle y mae John Morris yn byw yn bresennol. Yr achlysur ydoedd agoriad tŷ newydd, a chynnorthwyo gŵr a gwraig ieuanc i ddechreu byw. Cynnelid y cyfarfod ar nos Sadwrn yn yr haf. Yn hwyr y dydd, pwy a ddygwyddodd fod yn pasio i lawr ond Anne Thomas, Tŷ congiog, neu yr Hen Bandy. Hen ferch fawr, hagr, âg un llygad ganddi, oedd Anne. Yr oedd Anne Thomas yn ben y gamp am ganu. Cyn dyfod at grefydd yr oedd yn enwog am ganu gyda'r tannau. Gwelodd rhai o'r llanciau hi yn pasio, ac yr oedd John Ffoulk yn un o honynt. Dyma hwy i'r afael â hi, fel y bu raid iddi ddyfod i'r tŷ, a phawb â'i lasiad iddi, a hithau yn yfed yn helaeth. O'r diwedd bu raid iddi ganu. Dechreuodd hithau ganu rhai o'r hen Hymnau, a chanu a chanu nes teimlo ei hun mewn hwyl canu—pawb yn sobri, ac Anne yn canu. Dyma un ac arall yn codi ac yn myned allan. Y mae yr hen Anne yn teimlo fod y fuddugoliaeth yn ei llaw. Mae braich y *fiddler* yn crynu, ac o'r diwedd dacw yntau yn codi ac yn dianc ymaith. Chwalodd pawb i'w fan. A dyna dyna diwedd ar noswaith lawen yn yr ardal hon o hyny hyd yn bresennol. Daeth yn

arferiad i gael pregeth mewn tŷ newydd yn lle y noswaith lawen.

*Attodiad i Nodiad* 16.—Clywsom John Ffoulkes yn dyweyd ragor nag unwaith mai y fath oedd meddwdod trigolion y plwyf hwn pan oedd ef yn ieuanc fel nad oedd ond tri o ffermwyr yn yr holl ardaloedd hyn a arferent ddyfod adref yn sobr o farchnad Caernarfon. Un o'r tri oedd Robert Williams, yr hen lanc crybwylledig oedd yn byw yn Maesydre. Yr oedd y Robert Williams hwn yn *Warden*, yn ddyn o ddylanwad ac yn ofn i weithredoedd drwg. Byddai ar y Sul yn gwisgo gwasgod goch, a byddai bechgyn drygionus yn ei adwaen o bell, ac yn dianc rhagddo. Yr oedd yn elyn calon i'r achos crefyddol yn yr Ysgoldŷ ar y cyntaf; ond cyn hir cymmododd â'r Methodistiaid, a daeth yn aelod da a ffyddlawn o'r frawdoliaeth yn Ysgoldŷ.

17. Adeg lwyddiannus iawn ar yr achos Methodistaidd yn yr ardal hon a fu oes yr ail Ysgoldŷ, yspaid deuddeng mlynedd o amser, o'r flwyddyn 1820 hyd 1832. Daeth corff mawr penau teuluoedd yr ardal, yn wŷr a gwragedd, yn aelodau o'r eglwys. Yr oedd y gynnulleidfa yn hynod o wasgaredig, yn cyrhaedd o Benllyn heibio i Brynmadog, trwy Benisa'r waen, a Chae'r mynydd, i fyny i ganol Waen Gynfi. Er fod y capel yn helaeth ar y pryd, yr oedd yn llawer rhy fychan. Cymerodd yr Annibynwyr fantais ar hyn i sefydlu achos yn y rhan uchaf o'r ardal. Yr oedd gan y Wesleyaid hefyd achos yn Mhenisa'r waen, a llawn gwell golwg arnynt, dybygwn ni, nag a fu ar ol hyny. Yr oedd gwêdd lewyrchus ar bobpeth yn Ysgoldŷ yn y cyfnod hwn ond ar y canu. Ar ol i'r hen Ddafydd Ellis droi yn Annibynwr, syrthiodd y canu i iselder dirfawr. Bu Sîon Rowland Abraham yn ceisio ei arwain am ryw dymmor, ond ni bu neb erioed mwy dilûn yn ceisio gwneyd hyn o orchwyl. Yna bu un Francis wrth y gwaith, ond nid oedd yntau nemawr gwell. Yna bu Robert Evan y Celyn yn arwain. Byddai ef yn sicr o ryw fesur, ond yr oedd ei lais yn aflafar a gwan. Daeth un John Williams o Leyn yn was i Fron chwith. Yr oedd y gŵr hwn yn gerddor da, ac yn ddyn crefyddol. Bu y canu yn llwyddiannus dan ei arolygiaeth hyd ei ymadawiad o'r ardal.

---

METHODISTIAETH YN EDEYRNION.

Y MAE y Dosbarth sydd yn cael ei alw yn Edeyrnion yn perthyn i Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd. Ac y mae'r manau sydd yr ochr draw i'r mynydd yn perthyn i'r Cyfarfod Misol, ac yr oeddynt hyd yn ddiweddar i'r un Cyfarfod Ysgolion; ac felly gweddus yw i'r hanes sydd ar gael am danynt fod gyda'u gilydd. Yn ol "*Methodistiaeth Cymru,*" mae yn debyg mai yr ochr draw i'r mynydd a gafodd ei breintio gyntaf â gweinidogaeth yr efengyl, a hyny cyn y flwyddyn 1750. Y mae hanes am amryw bregethwyr o'r Deheudir yn galw heibio iddynt ar eu teithiau, ac yn pregethu mewn gwahanol fanau. A chyda hwy, enwir Lewis Evan, Llanllugan. Ond nid heb lawer o wrthwynebiadau y llwyddodd yr achos yno i'r graddau y gwelir heddyw. Cyfodwyd yno amryw o ddynion ffyddlawn, ymroddgar, a llafurus yn eu tymmor, y rhai sydd erbyn heddyw wedi myned i orphwys oddiwrth eu llafur, ac y gallesid enwi amryw o honynt. Eithr y mae'r gwaith a gychwynwyd trwyddynt hwy eto yn fyw, ac yn myned rhagddo gyda eu holynwyr, y rhai a geir yn gweithio yn egnïol gyda'r achos mawr yn ei holl ranau.

Wrth edrych yn ol, mae yn syndod y fath waith sydd wedi ei wneyd, pe na byddai ond gyda'r olwg allanol ar bethau. Mae yn debyg mai capel Tregeiriog ydoedd y capel cyntaf a godwyd yn y cymydogaethau hyn; ac y mae yno erbyn hyn gymaint â phump o gapelydd yn perthyn i Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd; ac ymhob un o'r lleoedd, gwnaed capel ddwywaith, neu ei helaethwyd, yr hyn o'r dechreu sydd wedi myned yn wyth neu naw.

Cafodd nifer o'r ffyddloniaid a fu gyda'r achos eu herlid, a gorfu i rai o honynt ymadael o'u tai er mwyn yr achos crefyddol, fel y mae genym achos i ryfeddu a bod yn ddiolchgar am yr olwg bresennol arno. Y mae yn deilwng i ni enwi un a fu yn offeryn mewn modd arbenig i ddwyn y gwaith ymlaen i raddau mawr, sef yr hybarch Richard Morris, yr hwn a fu yn ffyddlawn a llafurus yn ei ddydd, ac a wnaeth waith mawr dros ei Arglwydd.

Bellach deuwn drosodd i Landrillo. Mae yn ymddangos yn yr hanes a geir mai dyna'r fan a gafodd y fraint gyntaf ynglŷn â Methodistiaeth Gymreig yr ochr yma i'r mynydd. Mae genym hanes am Gyfarfod Pregethu yno tua'r flwyddyn 1770. Mae yn debyg fod yma bregethu cyn codi y caban un-nos y sonir am dano ar y Mynyllod. Rhyw gilio oddiar ffordd erlidigaeth ydoedd yr achos o godiad hwn, ond ni bu yr hen gyfeillion yno yn hir heb brofi nerth yr erlid. Er eu bod wedi cilio i dawelwch y mynydd, cawsant eu rhan o hono yno; ac nid oedd gan eu gwrthwynebwyr ddim mwy i'w wneyd na thynu i lawr le'r pregethu. Byddai Thomas Foulkes, John Evans a Siôn Moses o'r Bala, a Robert Roberts o Lanuwchllyn, yn

arfer dyfod i Landrillo cyn codiad y caban ar y Mynyllod. Ond er ei dynu i lawr oddiar fwriad i lethu yr achos, ymlaen yr aeth er pob gwrthwynebiad. Cododd yr Arglwydd ddynion ffyddlawn i gymeryd gofal ei waith yn y fro, y rhai sydd wedi myned oddiwrth eu llafur at eu gwobr; a chyfododd olynwyr iddynt, sef Thomas Evans, John Parry, John Hughes, John Jones, Edward Hughes, a John Evans

Mae yn amlwg fod yn y Bala y pryd hwnw amryw o frodyr ffyddlawn â'r gwaith mawr yn agos at eu calonau, ac yn barod i wneyd a allent o'i blaid. A diammheu bod y llwyddiant a ddilynodd i raddau mawr i'w briodoli i'w llafur hwy. Cododd yr Arglwydd yn Llandrillo ddynion ffyddlawn ac ymroddgar, a rhai i bregethu. Un o'r cyfryw ydoedd y diweddar Samuel Jones, yr hwn a fu yn y weinidogaeth am oes faith. Gwelir, wrth yr hanes, mai yn y pen uchaf y dechreuodd y gwaith da, ac iddo ymledu yn raddol dros yr oll o'r dosbarth nes cyrhaedd y gwaelod, ond nid heb wrthwynebiadau lawer. Yr ydym yn cael mai ymhen rhyw ddwy flynedd wedi cychwyn yn Llandrillo y codwyd y caban ar y Mynyllod; a chafwyd cyfle am enyd i addoli mewn unigedd yno. Ond, fel y crybwyllwyd, mor fuan ag y daeth rhywrai gwrthwynebus yn hysbys o'r hanes, yr oedd yn rhaid myned ati gyda brys i lethu yr achos yn ei wendid. Ond gwelir heddyw y bu yr attalfeydd yn fantais i ledaeniad yr efengyl yn holl Edeyrnion.

Y mae yn lled sicr mai dyna yr adeg y cafodd Cynwyd ei breintio â gweinidogaeth yr efengyl. Y mae yr hanes sydd genym yn dyweyd mai yn y Ceirig llwydion y pregethwyd gyntaf; a dymunol iawn a fuasai cael allan pwy oedd y pregethwr; ond methais gael hyny yn un man. Yn ol yr hanes a geir ar lafar gwlad, yr oedd yr ychydig a fyddent yn casglu at eu gilydd yn cael eu herlid i fesur mawr. Byddai rhywrai yn dangos eu dygasedd tuag atynt trwy guro padell ffrïo neu rywbeth tebyg ar eu holau pan yn myned o'r cynnulliad. Ond er pob peth, llwyddo a wnaeth yr achos goreu; ac y mae erbyn hyn wedi ennill lle mawr yn meddwl y cyffredin. Yr oedd yr Arglwydd yn codi dynion da a llafurus yn arweinwyr; a gallesid enwi amryw. Un yn arbenig a fu yn ymroddgar gyda'r achos tu hwnt i'r cyffredin oedd Siôn William. Yr oedd efe yn gofalu am yr achos ymhob lle yn y dosbarth. Byddai Dafydd Roland yn ei alw, Brenin Edeyrnion. Richard White ac yntau, mae yn debyg, a fu y rhai blaenaf. Y mae yr hyn a ddechreuwyd tua Bodheulog wedi dwyn ffrwyth lawer erbyn hyn. Y mae coffadwriaeth Richard White yn fendigedig heddyw ar gyfrif yr hyn a wnaeth i Fethodistiaeth yn ei ddydd. Cafodd y fraint o ddyoddef er mwyn yr efengyl. Y mae yn amlwg fod yr achos wedi bod yn nwylaw dynion ffyddlawn ac ymroddgar, amryw o honynt heb fawr o *bomp* o'u cwmpas, eto yn gwir ofalu am yr achos. Gellid enwi David Thomas, Robert Davies y Swch, a brawd arall a fu yn ffyddlawn yn ei ddull ei hun, sef Thomas Stanton—dynion ag yr oedd eu gofal am yr achos yn nodedig; ac felly y llwyddodd yr achos i'r graddau y gwelir ef heddyw. Sicr yw mai tua yr un amser y dechreuwyd yn Glanrafon. Digon tebyg i'r sŵn gyrhaedd i'r fangre hon o ben Mynyllod. Dywedir fod pregethu mewn lle o'r enw Gelli-dywyll yn y gymydogaeth hon yn bur fore yn hanes Methodistiaeth. Cafodd yr achos ei groesawu yn y Gaergoed a Llwynithel, yr hyn sydd yn para hyd heddyw.

Codwyd yma rai dynion nodedig. Yma y codwyd y pregethwr a'r gweinidog, Harry Davies, y beirniad ysgrythyrol a'r duwinydd da, yr hwn a ordeiniwyd yn y flwyddyn 1833, ac a fu am flynyddau heb un gweinidog ordeiniedig yn y dosbarth ond efe. Yma hefyd y codwyd y brawd ffyddlawn a diargyhoedd, Charles Jones, i bregethu.

*(I barhâu.)*

---

## Darlleniadau Detholedig.

### BENDITHIO BENDITHION.

"I BOB un y mae ganddo y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd." Pan y mae Duw wedi dechre bendithio, efe a ddywed fel y dywedodd am Abraham, "A gelaf fi rhagddo ef yr hyn a wnaf?" na, ni chadwaf ddim oddiwrtho. Y mae megys pe byddai un rodd oddiwrtho yn ei rwymo i roddi un arall. Càn gynted ag y cynhyrfodd efe Solomon i ofyn am ddoethineb, efe a roddes ddoethineb iddo; càn gynted ag y cynhyrfodd efe Abraham i fyned o'i wlad, efe a ddechreuodd ei arwain; a chan gynted ag y cynhyrfodd efe Gedeon i ryfela, efe yn ebrwydd a'i cynnorthwyodd. Mae trugareddau Duw fel y gwlaw; mae yn gyntaf yn gwlawio dyferion mân, ac wedi hyny y syrth dyferynau breision. Yn gyntaf chwi a welwch Eliseus gydag ysbryd sengl, ac yna chwi a'i gwelwch gydag ysbryd dyblyg; yn gyntaf chwi a welwch Paul yn eistedd wrth draed Gamaliel, ac wedi hyny gwelwch ef yn pregethu yn nghadair Moses; yn gyntaf chwi a gewch y dysgyblion yn addoli, ac yna cewch yr Ysbryd Glân yn disgyn; yn gyntaf chwi a welwch y doethion yn ceisio Crist, ac ar ol hyny cewch hwy ynghyd gyda Christ; yn gyntaf y mae'r mab

yn dyfod tuag at y tad, ac yn fuan mae'r tad yn dyfod i gyfarfod â'r mab; yn gyntaf chwi a gewch yr efnuch yn darllen, yna yn deall, wedi hyny yn credu, ac ar ol hyny yn cael ei fedyddio. Gydag i Nathanael gredu, yr Iesu a ddywedodd, "A ydwyt ti yn credu? ti a gei weled pethau mwy na'r rhai hyn." Ac y mae efe yn dywedyd yn gyffelyb wrth bawb sydd fel Nathanael, A wyt ti yn caru ac yn moli am un drugaredd? ti a gei eto drugareddau mwy. Os bydd un yn gweddïo fel Cornelius, fe enfyn Duw un arall fel Pedr i'w gadarnhâu; os bydd un yn galaru yn edifeiriol fel Dafydd, enfyn efe un arall fel Nathan i'w ddyddanu; os bydd un yn meddwl yn dda, efe a'i dysg i ddyweyd yn dda; os bydd un yn dyweyd yn dda, efe a'i dysg i wneyd yn dda; ac os bydd un yn gwneyd yn dda, efe a'i dysg i barhâu yn dda. Os gwel yr Arglwydd un yn llariaidd fel Moses, efe a'i gwna yn ddoeth fel Solomon; os gwel efe un yn ddoeth fel Solomon, efe a'i gwna yn gyfiawn fel Abraham; os gwel efe un yn gyfiawn fel Abraham, efe a'i gwna yn amyneddgar fel Job; os gwel efe un yn amyneddgar fel Job, efe a'i gwna yn edifeiriol fel Pedr. Pan y caiff efe un yn ei ysgol yn dywedyd fel Samuel, "Llefara, Arglwydd, canys y mae dy was yn clywed," efe a'i cymer i fyny i'r mynydd fel Moses, ac a egyr ei galon iddo, gan ei ddysgu i wneyd iawn ddefnydd o'r oll a wêl, ac a glyw, ac a ddarllena, ac a deimla. Wedi i Dduw ddechre trin meddwl dyn, bydd hwnw yn barod i bob gweithred dda; pob bendith yn ei wneyd yn ddiolchgar, a phob addysg yn ei wneyd yn ufudd; ac ni bydd byth yn ymdeimlo yn iawn ond pan yn rhodio gyda Duw fel Enoc, neu pan fyddo Crist yn llefaru wrtho ef, neu efe yn llefaru wrth Grist; o herwydd pan gyfarfyddo Duw â'i blentyn, efe a rydd iddo ymgeledd a chysur, yn ol ein testun, "I bob un y mae ganddo y rhoddir, ac efe a gaiff helaethrwydd."—*Henry Smith*, 1592.

---

### ANGHENION YR EGLWYS.

**Mae** gan gyfoeth bennod newydd ardderchog i'w hysgrifenu yn hanes dyfodol ein heglwysi. Yr ydym yn bresennol yn orthrymedig gan ddiffyg arian. Mae arnom eisieu arian, llawer o arian, mwy o arian; ac yr ydym heb hyny o herwydd diffyg. Cynnygir gwaith newydd; a'r ateb yw, Diffyg. Pan y mae ein rhestrau yn cael eu teneuo gan afiechyd ac angeu, gofynir am adgyflenwadau; a'r ateb yw, Diffyg. Mae dynion yn barod ond nis gallwn eu hanfon allan; attelir hwy gan ddiffyg. Mae drysau newyddion o ddefnyddioldeb yn cael eu hagor; a cheuir hwy gan ddiffyg. Yr ydym wedi cynnefino â'r gair *deficit*, a gwneuthur i fyny ein meddyliau i gyfarfod â hynyma fel anhwyldeb arosol, heb broffesu un gobaith am ei wellâu. Wedi'r cwbl, nid y diffyg arian yw y drwg gwirioneddol; nid yw hyn ond argoel. Y drwg gwirioneddol yw diffyg ffydd a chariad. Dyna y swyn a dry ein rhoddion prinion yn weithredoedd o garedigrwydd ewyllysgar a helaethlawn: "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ag yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef."

Mae gan ein teuluoedd cristionogol bennod ardderchog arall i'w chwanegu at ddyfodol ein heglwysi! Y mae arnom eisieu y dynion goreu yn gartrefol a thramor. Yr oedd arweinwyr y symudiadau Anghydffurfiol, Methodistaidd, a Henaduriaethol yn Scotland, yn perthynu i'r dosbarthiadau addysgedig. Nid oeddynt hwy a'u rhieni yn edrych ar eu dysgedigaeth fel moddion i fyned ymlaen yn llwyddiannus yn y byd. Yr oeddynt yn cysegru eu dysg a hwy eu hunain i wasanaeth Crist. Mae rhieni mewn teuluoedd lawer yn awr yn wahanol. Rhoddant i Grist bob peth mewn geiriau; a rhoddant iddo ychydig mewn arian; ond y maent yn attal eu goreuon oddiwrtho. Nid felly y bydd yn wastadol.

Mae gan bob eglwys bennod newydd odidog i'w hestyn i Gristionogaeth yn y dyfodol. Yr ydym yn byw mewn tymmor o gymdeithasau. Mae yr egwyddor o gydweithrediad a ddysgodd yr eglwys yn gyntaf i'r byd wedi ei benthyca gan yr eglwys oddiwrth y byd; ac y mae Duw wedi gwenu ar ymdrechiadau dynion difrifol yn ymuno fel hyn yn ngwasanaeth Crist. Ond pe buasai yr eglwysi yn effro, buasai cymdeithasau yn ddianghenrhaid. Mae'r gymdeithas yn dyfod at yr eglwys, ac yn dyweyd fel y dywedodd Boaz, "Os rhyddhêi di y maes, rhyddhâ ef; ac oni ryddhei, mynega i mi fel y gwypwyf; canys nid oes ond ti i'w ryddhâu, a minnau sydd ar dy ol di." Hyd yn hyn mae yr eglwys yn barnu ei bod yn cael ei gorfodi i ateb, "Ni allaf ei ryddhâu i mi, rhag colli fy etifeddiaeth fy hun. Rhyddhâ i ti dy hun fy rhan i; canys ni allaf fi ei ryddhâu." Ond y mae'r dydd yn dyfod pan y bydd fel arall. Bydd pob eglwys yn llawn trydan; dim ond ei chyffwrdd gan anghen, a chydymdeimlad a dỳr allan.—*Dr. Macfadyen, Cadeirydd Undeb Cynnulleidfäol Lloegr a Chymru, yn ei Araeth yn nghyfarfod Hydref.*

---

### UN O ESGUSODION CALON GYBYDDLYD.

**Dyna** un esgus a roddir weithiau gan ddyn cybyddlyd pan wesgir arno i fod yn fwy haelionus,—"Yr wyf fi yn fynych wedi rhoddi at achosion da neu gristionogol."

Ond gellir gofyn, *Pa bryd* yr oeddech yn rhoddi? Ai yn unig pan yr effeithiwyd ar eich teimlad yn ddisymwth, neu pan yr oedd anerchiad nerthol yn eich cymhell at y ddyledswydd, neu pan yr oedd esiampl neu bresennoldeb eraill yn eich rhwystro i beidio rhoddi, neu pan yr oedd y dysgwyliad am gyhoeddi eich enw fel cyfranwr yn eich temtio i ddyfod allan felly, neu pan yr oedd taerineb yn gormesu arnoch? Nis mynem fod yn rhy fanylaidd i ddosranu cyfansoddiad unrhyw rinwedd ymddangosiadol; ac nid ydym am i chwi beidio bod yn haelionus hyd

nes y byddoch yn hollol sicr fod eich cymhellion yn eithaf cywir. Ond ni a fynem adgofio i chwi yn dyner, os nad oeddech yn rhoddi i'r Arglwydd ond ar gyfryw amserau yn unig, fod hyny yn profi yn ddiammheuol eich bod dan lywodraeth cybydd-dod ar bob amser arall. Mae eich cybydd-dod yn gynneddf, ac nid yw eich haelioni ond gweithred, neu, yn hytrach, nid yw ond attalfa am foment ar eich tuedd lywodraethol; ac fel nad yw yr amgylchiad o fod dyn yn ymddangos yn bwyllog ar brydiau yn ddigon i beidio ei restru ymysg pobl wallgofus, felly y mae eich elusenau damweiniol neu achlysurol yn eich gadael chwithau yn nosbarth y cybyddion.

Eto, gan mai eich dadl yw eich bod wedi rhoddi, ni a ofynwn ymhellach, *Pa beth*, pa *faint*, a roddasoch? Nid yw fod proffeswr crefydd yn rhoddi rhan o'i eiddo i'r Arglwydd yn profi ei fod yn haelionus, onidê rhaid rhoddi yr anrhydedd i Ananias. Ond ei gybydd-dod ef a'i maglodd mewn celwydd, a'i gelwydd a'i tynodd i lawr i ddystryw. "Rhywun a arbed mwy nag a weddai." Pe desgrifid dynion yn ol yr hyn sydd yn eu nodweddu yn ngolwg Duw, byddai llawer dyn sydd yn awr yn cael ei alw yn haelionus ar gyfrif yr hyn a roddir ganddo, yn cael ei warthnodi fel cybydd ar gyfrif yr hyn y mae yn ei arbed. Pa un yw yr adroddiad mwyaf priodol am danoch chwi,—ai eich bod yn rhoddi ai ynte yn cadw yn ol? Oni theimlech yn anfoddog fel un yn cael eich darostwng pe clywech bobl yn dyweyd am danoch, er mor fychan oedd eich cyfraniad, *nad allasech* chwi roddi dim ychwaneg? Mae lluaws o'r llaweroedd yn proffesu eu bod yn rhoddi eu *hadling*, trwy yr hyn y maent yn teimlo eu bod rywfodd yn nesu at esiampl y wraig weddw, os nad yn weithredol wedi ennill hawl i gyffelyb ganmoliaeth a'r eiddo hi. Ond, mewn gwirionedd, y mae yma wahaniaeth annhraethol: wele hi yn bwrw i mewn ddwy hadling i'r drysorfa am mai dyna oedd yr oll a feddai, a hwythau yn rhoddi dim ond hadling er mwyn cadw yr ystôr yn eu meddiant. Maent yn talu y swm bychan hwn fel treth i gydwybod derfysglyd, er mwyn iddynt gadw cyfangorff eu cyfoeth, a'i dreulio yn ddystaw ar eu hunangarwch. I ba un o'r ddau ddosbarth yma yr ydych chwi, yn eich rhoddion yn dyfod agosaf?—*Dr. John Harris.*

YMADRODDION Y DOETHION.

Fel dinas wedi ei hadeiladu ar bob ochr i afon, felly y mae eglwys Dduw. Mae afon angeu yn gorwedd cydrhwng yr eglwys filwrol a'r eglwys fuddugol, neu rhwng gras a gogoniant.

Ffydd wirioneddol, er yn fechan a gwan, a ddwg ddyn i'r nefoedd yn y diwedd; ond ffydd fawr a chref a ddwg nefoedd i'w pherchen yn y byd hwn.

Po fwyaf cydnabyddus y byddom â gwrthddrychau gweledig, lleilai yr ymddengys eu mawredd a'u prydferthwch yn ein golwg; ond am wrthddrychau ffydd, po fwyaf y sefydlom ein meddyliau arnynt, mwyaf a welwn o'u gogoniant a'u daioni.

Nid oes grefydd heb foesoldeb, ac nid oes foesoldeb, gwir foesoldeb, heb grefydd. Crefydd yw moesoldeb mewn egwyddor, a moesoldeb yw crefydd mewn ymarferiad.

Mae medr ac awydd i wneuthur defnydd da o ddawn cymedrol wedi gwneuthur llawer mwy o wasanaeth na'r meddiant o'r athrylith galluocaf.

Pob rhinwedd sydd â Duw yn awdwr iddo sydd hefyd â Duw yn nôd ganddo, yn debyg fel y mae llinell gron yn dybenu yn y lle y mae yn dechre.

Nis gwna fod dyn yn perchenogi cyfoeth ei gau ef allan o deyrnas nefoedd, ond cyfoeth yn ei berchenogi ef a wna hyny.

Pregeth salw yw hono nad oes ynddi ddim cymhwysder i ddryllio calon galed, nac i rwymo calon ddrylliog.

Camp fawr yw cadw canol y ffordd rhwng gorbrysuro a gorneilldno.

Fel y nodwydd yn nghwmpawd y morwr, nas gall ond ysgwyd a chrynu nes yr ymsefydlo yn mhwynt y gogledd, felly nis gall calon dyn gyrhaedd gorphwysdra nes troi at Grist.

Gwybodaeth o athrawiaeth yr efengyl yw'r ganwyll gan ffydd, heb yr hon nas gallai weled i wneyd ei gwaith.

Ynfyd a niweidiol yw i ddyn osod ei feddwl yn fwy ar y drwg sydd yn ei gyfarfod nag ar y moddion i symud neu liniaru'r drwg.

Angeu yw y meddyg goreu i'r duwiol: mae yn ei wella, nid o un anhwyldeb, ond o'i holl anhwylderau, ac o'r cwbl ar unwaith, a hyny am byth; ïe, y mae yn ei wella o angeu neu farwolaeth ei hun.

---

# Barddoniaeth.

## WRTH WELY CYSTUDD CREDADYN.

Paradwys, paradwys yw 'r lle
  Mae 'r cristion am fyned i fyw,
Mor gynted ag y bydd efe
  Yn orlawn o ddelw ei Dduw:
Bydd weithiau 'n ddiffygiol o ffydd,
  Bron llethu tan bwysau rhyw "ond;"
Cyn derfydd ei obaith fe fydd
  Bryd arall â hyder ei lon'd.

Pan byddo cymylau 'n crynhoi
  Na ŵyr ef eu mesur, na 'u rhif,
Mae 'n gwybod am loches i droi
  Rhag corwynt, gwlaw enbyd, a llif;
Pe 'r elai 'r credadyn i'r pant,
  Cyn glynu ar waelod y glyn,
Y Nefoedd sydd gymhorth i'w phlant
  I esgyn i gopa y bryn.

Mewn rhyfel y bu 'r hyd y daith,
  Dim gorphwys i wadn ei droed;
Er hyny, nid allodd un graith
  Anurddo 'i gymeriad erioed:
Er cymaint a gafodd o gur,
  Ni phallodd un gronyn o'i ras;

Trwy ymdrech y daliodd fel dur,
I sefyll yn wyneb ei gas.

Pan byddai yn mhoethder y pair
Ni ddarfu ef ymddwyn yn ffol;
Bob tro fe ddaeth allan fel aur,
A'i sorod yn aros ar ol:
Er chwerwed fu troion y byd
Ca'dd gymhorth i sefyll fel glew;
Ei ysbryd a sugnai o hyd
Felusder o 'sgerbwd y llew.

Mae weithiau yn dysgwyl y dydd
I'w ollwng i ardal yr hedd;
Ei babell eiddilaidd y sydd
Yn barod ar ymyl y bedd:
Dymuna gael myned o'r byd
Ar draws yr Iorddonen ddu, ddofn,
Ac nid rhwyfo ei llif ar ei hyd,
Er nad yw mewn pryder ac ofn.

Mae 'n gallu troi golwg yn ol
A'r fynwes yn dawel bob darn,
Am na ddarfu ffaelu yn ffol
Trwy gym'ryd deddf nefoedd yn sarn:
Am wneuthur gwasanaeth i Dduw
Nid ydyw ef heddyw yn drist;
Mewn llafur y bu efe byw;
Ei gyfaill anwylaf oedd Crist.

Pe gallai, ehedai ymhell
Tu hwnt i blanedau a sêr;
Mae 'n gwybod fod yno le gwell
O lawer yn nghwmni ei Nêr:
Pe deuai rhyw angel o'r nef
I roddi un amnaid â'i fys,
Cychwynai ar fyr gydag ef
Heb arswyd na gorsedd na llŷs.

O gristion, mor brydferth wyt ti
Tra 'n dysgwyl yn ymyl y pyrth;
Yn fuan, derbyni uwch bri,
Mewn dinas â'i seiliau na syrth!
Paid byth ag anghofio y fro
Y cefaist dy "eni drachefn;"
Gofala am gadw mewn co'
Y llanerch y syrthiaist i'r drefn.

Cysegraist gilfachau y byd
I gynnal cymundeb â Duw;
Nid elli anghofio y pryd
Y cefaist ti foddion i fyw:
Defnynau ollyngwyd i lawr
I d' ysbryd hyd hwyrol brydnawn;
Yn ymyl i ti mae môr mawr,
O hono dy lestr fydd llawn.

Ni châf dy gyfeillach di mwy,
Mae rhywbeth yn newid dy drem;
Ni allaf dy ddilyn yn hwy,
Mae awel marwolaeth mor lem!
Aeth eraill o'm cyrhaedd cyn hyn
I'r ddinas nad oes ynddi glwy';
Daw dydd pan yr Arglwydd a'i myn,
I minnau fod byth gyda hwy.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

---

## EMYN YMOSTYNGOL.

PECHASOM, O Iôr, yn dy erbyn,
Tra 'n byw o dan nodded y ne';
Ein llwybrau fu geimion ac ofer,
Gwyrasom ar aswy a de:
Ac eto ni phallodd dy gariad,
O ryfedd amynedd tra mawr!
Er haeddu o honom dy soriant,
Ni pheraist ein tori i lawr.

Dymunem fendithio dy enw
Am gofio trugaredd mewn barn,
Gan ffrwyno dy feirch dialeddol
Rhag llwyr wneyd ein dinas yn sarn:
Tarewaist ni, do, ond yn ysgafn,
Wrth fesur y cosbaist ein gwlad;
Nid fel yr haeddasom y telaist,
Dangosaist dy gariad fel TAD.

Am hyny, dy foliant fynegwn,
Diolchwn yn wresog i'n DUW,
A molwn o'n calon dy enw
Am i ti ein cadw ni 'n fyw:
Ac O boed i'th fawr hirymaros
Ein tywys i'r llwch at dy draed,
Mewn galar, i geisio maddeuant,
A heddwch yn nghysgod y gwaed.

O ARGLWYDD, pâr fod dy geryddon
Yn dwyn ein hysbrydoedd i'w lle;
Dy wïalen a'th ffon a'n harweinio
I rodio yn llwybrau y ne';
Pâr, hefyd, fod Sïon yn deffro
I wisgo am dani yn hardd;
Ac atom tyr'd eto, O FRENIN,
I rodio, fel cynt, yn "dy ardd."

T. BANGOR.

---

## CYFFES HEN WRTHGILIWR.

GWAE imi redeg ymaith—o dŷ Iôr,
A dewis ffordd ddiffaith;
Byw i wibio heb obaith
Mwynhâu Duw ymhen y daith.

Trueni 'r wlad estronol—yw fy rhan—
Heb brofi 'r hedd nefol;
Ac o dan warth "cadw 'n ol,"
Dynesaf i dân ysol!

Mor wyllt wyf! siom yw 'r holl daith—oferus,
Ar farw 'n ddiobaith;
Euog wyf, a gâf fi, Iôn,
O galon, gynnyg eilwaith?

MERVINIAN.

*Whittington.*

---

## PWY FEL EFE?

GWYN a gwridog yw 'm Hanwylyd,
Pwy fel Efe?
Fy Ngwaredwr, sail fy mywyd,
Pwy fel Efe?
Meddyg rhad i'm holl archollion,
Rhydd im' wledd o bob danteithion,
Mae yn maddeu fy nyledion,
Pwy fel Efe?

Ffarwel bellach, wag bleserau,
Pwy fel Efe!
Arno rhed fy holl serchiadau,
Pwy fel Efe?
Ar ddeng mil y mae 'n rhagori,
Nefoedd mwyach fydd ei gwmni,
Tragwyddoldeb gaf i'w foli,
Pwy fel Efe?

LL.

# Bwrdd y Golygydd.

### LLYTHYR GAN Y DIWEDDAR BARCH. EBENEZER DAVIES, LLANERCHYMEDD.

MR. GOLYGYDD,—Tra yn edrych dros hen gofnodau Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd, a'r papyrau a anfonwyd gan weddw y diweddar Ysgrifenydd, y Parch. J. Williams, Llandrillo, daeth i'm llaw lythyr y diweddar Barch. Ebenezer Davies, Llanerchymedd, ar ol diweddu taith o'i eiddo drwy gylch y Cyfarfod Misol yn y flwyddyn 1870. Dygwyddai fod ei gyhoeddiad yn Nhalybont ar ddiwrnod y Cyfarfod Misol, yr hwn oedd hefyd yn gyfarfod i agor y capel newydd yno; a darllenid yr holl gyfrifon ar y pryd, sef yr holl draul, ynghyd a'r hyn a gasglesid tuag ei thalu. Os bernwch lythyr yr hybarch frawd o Lanerchymedd yn deilwng o le yn y DRYSORFA, wele ef at eich gwasanaeth.—Yr eiddoch yn bur,

E. PETERS.

*At Gyfarfod Misol Dwyreinbarth Meirionydd.*

ANWYL FRODYR,—Gan mai yn eich gwasanaeth chwi y bum i y pythefnos diweddaf, yr ydwyf yn ystyried fod yn iawn i mi eich hysbysu fy mod wedi gorphen fy nhaith a'i dyledswyddau yn Mheumachno nos Sabboth diweddaf. Danfonwyd fi yn brydlawn y bore ddydd Llun at y *train* yn Bettwsycoed, a chyrhaeddais gartref erbyn dau o'r gloch, lle y cefais fy nheulu bychan wedi eu cadw "tan edyn odiaeth Duwdod."

Pe buaswn yn apostol, ni buasai yn bosibl i mi gael derbyniad mwy caredig nag a gefais ymhob man, ac ymhob peth. Bu fy iechyd gwanaidd hefyd yn syndod o dda, ag ystyried y tywydd a gefais ar yr holl daith oddieithr diwrnod neu ddau: y gwlawogydd, y gwyntoedd, y llifeiriaint, y cenllusg, y mellt a'r taranau, a'r oerni. Ond oddiwrth niwaid ynddynt oll y'm gwaredodd yr Arglwydd. Bum yn hollol gysurus a dibrofedigaeth ymhob peth ond oddiwrth fy llais. Aeth hwnw yn hynod o ddrwg, yn enwedig wedi i mi fyned trwy Gorwen. Bu yn gyfyng iawn arnaf yn Dimel; yr oeddwn yn ceisio dyweyd un o'r pregethau bach mwyaf hwylus oedd genyf ar fy meddwl; ond nid äi hi yn ol nac ymlaen o herwydd y crygni. Yn wir yr oeddwn yn gresynu dros y gynnulleidfa, ac yn ofni fy mod wedi yspeilio yr eglwys trwy dderbyn eu cydnabyddiaeth haelionus am gyflawniad mor eiddil o'r gwasanaeth. Erbyn myned i Langwm y bore dranoeth, yr oedd y myrr yn dyferu ar hyd hespenau rhydlyd y clo; a siriolwyd fy meddwl yn fawr.

Cefais foddhâd mawr yn eich Cyfarfod Misol, yn yr olwg ar y gweinidogion yn mwynhâu eu gilydd mor hapus, "o'r mwyaf o honynt hyd y lleiaf o honynt," ac yn cydweithio mor unol heb yr arwydd lleiaf o eiddigedd ar y naill law, na chyndynrwydd ac anufudd-dod ar y llall. Sicrhäwyd fy meddwl hefyd yn y syniad oedd genyf o'r blaen, sef fod gadael yr eglwysi a'r cynnulleidfäoedd i gario ymlaen gydag adeiladu, &c., ar eu hadnoddau eu hunain, yn llawer gwell, ac yn sicr yn fwy effeithiol, na'r drafferth ddiddiwedd y mae rhai lleoedd ynddi yn ceisio dal y "*chapel estate*" wrth ei gilydd. Y mae hyn drwy y blynyddoedd yn bwyta amser y Cyfarfodydd Misol, yn achles i segurdod a diogi yn y cynnulleidfäoedd, ac yn achlysuro llawer o sylwadau chwerwon a merwinllyd. Wrth wrando yr adroddiad gan y Parch. E. Peters, Talybont, am lafur a gweithgarwch y gynnulleidfa gydag adeiladu y capel cyfleus a phrydferth, yr oeddwn yn wir yn barod i ddyweyd, "Clywsom bethau anhygoel heddyw."

Dyma beth arall hefyd oedd yn disgyn ar fy nheimlad i yn dyner ol, ac yn anwyl iawn: yr ymdeimlad a ddangosid gan lawer o'r blaenoriaid yma ac acw ynghylch y weinidogaeth. Y dull y canfyddwn hyny oedd trwy gwestiynau bychain a ofynid i mi, fel hyn, "Sut odfa a gawsoch chwi yn Llwyneinion?—Sut odfa a gawsoch chwi yn y Parc?—Sut Sabboth a gawsoch chwi yn y Bala? &c."

Bellach, anwyl frodyr, byddwch wych; ac ewch ymlaen, chwi filwyr Duw, gan gofio y bydd yr Arglwydd gyda chwi tra fyddwch chwi gydag ef.

Gyda y cofion carediçaf, a mwyaf diolchgar atoch oll.—Ydwyf, eich brawd gwael,

EBENEZER DAVIES.

*Llanerchymedd,*
*Tachwedd* 1, 1870.

*Y Parch.* J. WILLIAMS, *Ysgrifenydd Cyfarfod Misol Dwyreinbarth Meirionydd.*

---

### ANFFYDDLONDEB I'R CYFUNDEB.

Y MAE gohebydd a eilw ei hun *Gwyliedydd*, ond sydd yn rhoddi i ni ei enw yn llawn, yn ysgrifenu atom o dref yn nwyreinbarth Deheudir Cymru, yr hon a enwir ganddo yn ei ysgrif, ond nas rhoddwn ni ei henw ar hyn o bryd,—mewn ffordd o adroddiad a chwynfaniad pruddaidd am enciliadau oddiwrth rai a ddygwyd i fyny yn Fethodistiaid Calfinaidd i'r Eglwys Sefydledig. Ai nid yw efe yn gorliwio ei fynegiad tywyll yn ormodol? Pa fodd bynag, teg yw gwneyd yn hysbys yr hyn a ysgrifenir ganddo, er y bydd hyny yn peri i ryw ddynsodion, yn ddiau, grechwenu yn uchel.

"Bu amser pan oeddym y blaenaf o bob enwad yn ein zel a'n hymdrech i ddwyn ein plant i fyny yn ein hegwyddorion enwadol, ac yn neillduol fel Ymneillduwyr; ond erbyn heddyw, mae yr ysbryd wedi ei golli ymron yn gwbl,—pob egwyddor yn cael ei haberthu er mwyn manteision bydol, ac er cyrhaedd safle i fyw yn gysurus a didrafferth yn y fuchedd hon. Mae yr Eglwys Sefydledig yn cymeryd pob mantais ar ein diffyg zel a'n difaterwch.

"Mae gyda ni yma yn —— sefydliad rhagorol tuag at gyfranu addysg fydol, neu yr hyn a elwir

yn gyffredin yn *Commercial and Classical Education*. Ond y mae yn sefydliad effeithiol mewn cyfeiriad arall hefyd, sef gwneyd Eglwyswyr o blant y Methodistiaid Calfinaidd. O fewn i'r chwe' blynedd diweddaf, mae oddeutu deg ar hugain o blant ein henwad wedi dyfod yma o Sir Aberteifi, ac o Ogledd Cymru, ac ymron yr oll o honynt wedi dyfod â chardiau eu haelodaeth yma gyda hwynt; y rhan fwyaf i'r capel Cymraeg, ac eraill i'r capel Seisonig. Ond nid oes oddigerth rhyw ddau neu dri o honynt wedi dychwelyd ein tocynau eu haelodaeth yn ol. Y maent, yr oll o honynt, yn ymadael â'n Cyfundeb cyn pen pedwar mis, ac yn myned i'r Eglwys Wladol gyda eu Hathrawon, yr hyn sydd yn eithaf naturiol fel y gellir dysgwyl; oblegid Uchel-Eglwyswyr yw eu Hathrawon bob un, oddieithr y Prif-athraw ei hun. Fe allai ei fod ef yn fwy rhyddfrydig. Ond am yr is-athrawon, edrychant, bob un o honynt, ar Ymneilldduaeth gyda'r dirmyg mwyaf; ac o ganlyniad megir yr un ysbryd yn yr ysgoleigion, gan nad oes dim un o bob dwsin yn ddigon cryf i wrthwynebu yr ymosodiad a wneir arnynt.

"Byddai yn bwnc eithaf priodol pe byddai gwahanol Gyfarfodydd Misol Sir Aberteifi a Gogledd Cymru yn gwneyd ymchwiliad ac yn cael *returns* i ddangos pa nifer o blant y Methodistiaid sydd wedi eu dwyn i fyny yn offeiriaid o fewn y deng mlynedd ar hugain diweddaf; ie, plant Blaenoriaid a Phregethwyr yr enwad yn fwyaf neillduol! Tafiai adroddiad o'r natur hwn fwy o oleuni na dim arall ar yr achos o'n haflwyddiant mewn llawer lle. Mae yn amlwg i bob un sydd wedi sylwi, mai y rhai a welir yn awr yn elynion penaf Ymneillduaeth yw plant a ddygwyd i fyny gan rieni o fewn cyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd. Fy amcan yn hyn o linellau yw galw sylw y rhieni hyny sydd yn danfon eu plant i ysgolion penodol oddicartref at yr hyn a allant ei ddysgwyl yn y canlyniad."

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### ATHROFA Y BALA.

*Adroddiad Cyfeisteddfod yr Athrofa (a adawyd allan o Gofnodau Cymdeithasfa Llangefni.)*

LLYWYDD,—RICHARD DAVIES, YSW., A.S. —1. Darllenwyd Cofnodau y Cyfeisteddfod y llynedd, ac arwyddwyd hwynt gan y Llywydd. —2. Dadganwyd ein bod fel Cyfeisteddfod yn dwys deimlo o herwydd ein colled yn ddiweddar drwy angeu am ddau frawd y gallesid dysgwyl cael eu gwasanaeth am gryn amser yn ychwaneg, gyda golwg ar eu defnyddioldeb a'u dylanwad yn y Cyfundeb yn gyffredinol, a'u cysylltiad â'r Athrofa yn neillduol. Y naill ydoedd y Parchedig John Williams, Llandrillo, un o Gyfarwyddwyr yr Athrofa dros Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd, ac un o aelodau Cyfeisteddfod Lleol y Coleg, yn yr hyn yr oedd ei graffder a'i brofiad o werth mawr; a'r llall ydoedd y Parchedig Emrys Evans, yr hwn a fu yn un o efrydwyr cyntaf yr Athrofa, ac am flynyddoedd yn Gyfarwyddwr dros Gyfarfod Misol Sir Ddinbych, ac yn ddiweddaf dros Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd. Dymunem gydymdeimlo yn arbenig â gweddw Mr. Williams ac â phlant Mr. Evans, a'u cyflwyno i nawdd yr Hwn y mae ei freniniaeth yn llywodraethu ar bob peth, ac sydd hefyd yn Dduw yr amynedd a'r dyddanwch.—3. Dymunwyd ar Dr. Edwards ysgrifenu crynodeb o hanes dechreuad yr Athrofa, i'w ddodi yn llyfr Cofnodau y Cyfeisteddfod.—4. Penodwyd y Cyfeisteddfod Lleol i ymofyn ar fod i gopi o gyhoeddiadau cyfnodol y Cyfundeb gael eu hanfon i lyfrgell yr Athrofa yn gyson. —5. Derbyniwyd Adroddiad y Cyfeisteddfod Lleol, a chymeradwywyd ef. —6. Derbyniwyd Adroddiad gan y Parch. Dr. Edwards am ansawdd yr Athrofa am y flwyddyn ddiweddaf, yn yr hwn y dygai dystiolaeth bendant i'r boddhâd hollol a gawsai oddiwrth gorff mawr yr efrydwyr yn ystod y flwyddyn. Yr oeddent agos oll yn nodedig o ymroddedig a chydwybodol i'w hefrydiau, yn rhoddi eu presennoldeb yn gyson yn yr amrywiol ddosbarthiadau, ac yn ymdrechu i ymbarotoi yn ofalus ar eu cyfer. Yr oeddent gyda hyny yn ymddangos yn wŷr ieuainc gwir grefyddol, ac yn dra ffyddlawn a llafurus i wneuthur daioni gyda phob achos yn y dref a'r cylchoedd. Yr un pryd teimlai yn ofidus fod rhyw nifer bychan—bychan iawn—o honynt, fel y mae wedi bod yn rhy fynych, mor esgeulus, a diofal, a dilafur ag i beri iddo ef fod yn dra ammheus a ddylasai y Cyfarfodydd Misol y perthynant iddynt ganiatâu erioed iddynt ddechreu pregethu, a llawer llai eu hanfon i'r Athrofa. Golygai y gallai codi ychydig eto ar safon derbyniad i'r Athrofa fod yn foddion er attal rhagllaw y cyfryw rai rhag dyfod i mewn iddi, ac er gwell mantais i'r rhai ymroddgar tra ynddi. —7. Penodwyd Mri. J. Roberts, Foxhall, ac O. Williams, Glan Clwyd, i archwilio yr holl gyfrifon am y flwyddyn, ac i edrych dros gynnwys y *safe;* a chafwyd eu hadroddiad eu bod yn cael cwbl foddlonrwydd yn y naill a'r llall. —7. Dadganwyd ein diolchgarwch i'r Llywydd, ac i D. Roberts, Ysw., am eu ffyddlondeb a'u gofal am eiddo yr Athrofa; a'r un modd i'r Cyfeisteddfod Lleol am eu harolygiaeth dros yr adeilad a'r oll o'i amgylch. —9. Derbyniwyd Adroddiad gan yr Arholwyr, y rhai a dystient eu bod yn cael boddlonrwydd mawr yn nghynnydd y mwyafrif lliosog iawn o'r efrydwyr yn yr holl gangenau yr oeddynt wedi bod yn llafurio ynddynt. —10. Penderfynwyd fod elfenau y grammadeg Groeg i gael ei gynnwys rhagllaw yn safon y derbyniad i mewn i'r Athrofa.—11. Fod yn anghenrheidiol i'r efrydwyr gael math o Drwydded *(Certificate)* ar eu hymadawiad o'r Athrofa, i arwyddo boddlonrwydd yr Athrawon yn eu hymroddiad i lafur a'u cynnydd mewn dysg yn ystod eu harosiad ynddi. —12. Fod tymmor yr Athrofa i ddiweddu bob blwyddyn y dydd Mercher cyntaf yn Mehefin.—13. Fod y Parch. R. H. Morgan, M.A., Abermaw, i fod yn Arholwr Clasurol am y tair blynedd nesaf.—14. Derbyniwyd chwech o'r newydd i'r Athrofa.—15. Dadganwyd diolchgarwch i'r cyfeillion a fuont mor garedig â rhoddi llyfrau, &c., i'r Athrofa.

*Cyfrif Trysorydd yr Athrofa am y flwyddyn* 1881.

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mewn llaw Ionawr 1, 1881 ........ | 784 | 6 | 10 |
| Llogau y Gronfa ..... ......... ..... | 1252 | 0 | 0 |
| Llogau y Banc ... ..................... | 0 | 6 | 2 |
| Yn ddyledus i'r Trysorydd ... .. | 109 | 14 | 6 |
| | £2146 | 7 | 6 |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cyflogau yr Athrawon ............ | 700 | 0 | 0 |
| Cyflogau y Garddwr a'r Llyfrgellydd, Trethi, &c............... | 88 | 0 | 0 |
| Gwobrwyon i'r Efrydwyr, a threuliadau ynglŷn â'r Arholiad ........ . ...................... | 305 | 12 | 6 |
| Treuliwyd ar Adeilad y Coleg .. | 47 | 0 | 0 |
| Yswiriant y Coleg .................. | 5 | 15 | 0 |
| Rhoddwyd allan ar lôg ............ | 1000 | 0 | 0 |
| | £2146 | 7 | 6 |

RICHARD DAVIES, *Trysorydd.*

Archwiliwyd manylion y cyfrif uchod a chafwyd ef yn gywir, JOHN ROBERTS, OWEN WILLIAMS.

ROBERT ROBERTS, *Ysgrifenydd.*

ATTODIAD.

The following persons presented the Library with Books, Paintings, &c., during the year 1881—82.

*Books and Manuscripts.*—Mr. O. Lewis, Bodrid, Anglesey; Mr. Francis Edwards, London; Mr. Pritchard, Tanllan, Maentwrog; Mr. Pritchard, Tŷ Newydd, Fourcrosses, Pwllheli; Mr. R. O. Jones, Pwllheli; Mrs. O. Davies-Hughes, Caerwys; Mrs. Foulkes, St. Asaph; Mr. Phillip Minshull, Oswestry; Rev. P. B. Power, M.A.; Mr. Thomas Jones, Llanuwchllyn, Bala; Mr. Winter, Pentre Celyn, Rhuthyn; Mr. E. M. Roberts, Edeyrn; Mr. Hugh Jones, Penrhyndeudraeth; Mrs. Davies, Treborth Hall, Menai Bridge; Mr. Evan Davies, Bookbinder, Bala; Mr. U. Bromley, Chester; Mr. E. Pierce, Dolyddelen *(Elis o'r Nant)*; Mr. H. Evans, Bala; Mr. E. Roberts (Librarian).—An Oil-Painting Portrait of the Rev. John Evans of Bala, presented by Mrs. Jones of Plas yr Acre, Bala.—A Steel-Engraving Portrait of the Rev. Henry Rees, Liverpool, presented by Mr. Howell, Clothier, Duke Street, Liverpolo. The following Newspapers are received in the Library (which are presented by the Publishers and Proprietors),—*The Liberator* (monthly), 1d.; *The Christian* (weekly), 1d.; *Temperance Record*, 1d.—A small collection of coins.

---

CYMDEITHASFA PWLLHELI.

*Gweithrediadau Cyfeisteddfod y Drysorfa Gynnorthwyol, yr hwn a ymgyfarfu yn y Rhyl, Mehefin 8fed,* 1882: *ac a ohiriwyd hyd Awst 8fed,* 1882, *yn yr un lle.*

LLYWYDD,—Y PARCH. LEWIS EDWARDS, D.D.

Yn bresennol,—*Môn,*—Parch. James Donne. *Lleyn ac Eifionydd,*—Mr. R. O. Jones. *Arfon,*—Parch. Rees Jones, a Mr. T. Lloyd Jones. *Dyffryn Conwy,*—Mr. Morris Davies. *Dyffryn Clwyd,*—Parch. Lewis Ellis; a Mr. T. Roberts. *Sir Fflint,*—Parch. J. P. Davies, M.A.; a Mr. E. Lewis. *Dwyrain Meirionydd,*—Parch. Dr. Edwards; a Mr. R. Hughes. *Gorllewin Meirionydd,*—Parch. T. J. Wheldon. *Trefaldwyn Uchaf,*—Mr. E. Davies, U.H., Llandinam. *Trefaldwyn Isaf,*—Parch. R. Davies; a Mr. J. Jones, U.H. *Manchester,*—Parch. Thomas Gray. *Henaduriaeth Trefaldwyn,*—Mr. R. Williams. *Trysorydd Cyffredinol,*—Mr. Peter Roberts.

1. Awdurdodwyd y Trysorydd Cyffredinol i dalu amrywiol ddyledion ynglŷn â chychwyniad y Drysorfa.—2. Awdurdodwyd yr Ysgrifenydd i ddarparu, argraffu, a phwrcasu taflenau, llyfrau, &c., pwrpasol ac angenrheidiol i waith y Drysorfa.—3. Penderfynwyd: (a) Fod i'r Ysgrifenydd, gan weithredu yn unol â Rheol 7fed o Reolau y Drysorfa, roddi yn yr Adroddiad Blynyddol enw pob tanysgrifiwr o 2s. 6c. ac uchod: (b) Fod nifer penodol o'r Adroddiad i fod â'r rhanau rhagarweiniol yn yr iaith Saesoneg, er mwyn yr Henaduriaethau, &c.: (c) Fod Adroddiad Sirol Dyffryn Clwyd i'w roddi ynglŷn â'r Adroddiad Cyffredinol eleni.—4. Fod blwyddyn y Drysorfa yn ei chasgliadau i ddybenu ar Mai 1af.—5. Fod y Cyfeisteddfod yn dymuno ar i'r Ysgrifenydd weithredu, mor bell ag y caniatâ ei amser a'i ddyledswyddau eraill, fel Goruchwyliwr, mewn cydweithrediad â brodyr yn y gwahanol Siroedd; a bod annogaeth yn cael ei rhoddi i'r Cyfarfodydd Misol er gwneuthur trefniadau ag a fyddo yn hyrwyddo ei waith ef, a holl amcanion y Drysorfa.—6. Rhoddodd y Trysorydd, Mr. Peter Roberts, Llanelwy, grynodeb o sefyllfa arianol y Drysorfa; ac aelodau y Cyfeisteddfod adroddiad o ansawdd yr achos hwn yn yr amrywiol Siroedd.

AWST 8fed, 1882,—LLYWYDD,—Y PARCH. ROGER EDWARDS, WYDDGRUG.

Yn bresennol,—*Môn,*—Parch. James Donne. *Lleyn ac Eifionydd,*—Mr. R. O. Jones. *Arfon,*—Parch. Rees Jones; a Mr. T. Lloyd Jones. *Dyffryn Conwy,*—Parch. Evan Davies, Trefriw. *Dyffryn Clwyd,*—Parch. Lewis Ellis; a Mr. T. Roberts, Dinbych. *Sir Fflint,*—Parch. Roger Edwards; a Mr. J. Parry. *Dwyrain Meirionydd,*—Mr. R. Hughes. *Gorllewin Meirionydd,*—Parch. T. J. Wheldon, B.A.; a Mr. R. Rowland. *Trefaldwyn Uchaf,*—Parch. D. Ll. Jones, M.A.; Mr. E. Davies, U.H. *Trefal-*

*dwyn Isaf,*—Parch. R. Davies; a Mr. J. Jones, U.H. *Henaduriaeth Trefaldwyn,*—Mr. R. Williams. *Liverpool,*—Mr. D. Roberts, U.H. *Manchester,*—Mr. J. Edwards. *Henaduriaeth Lancashire,*—Parch. Henry Jones, M.A. *Trysorydd Cyffredinol,*—Mr. Peter Roberts.

1. Penodwyd Mr. E. Davies, U.H., Llandinam, a Mr. R. O. Jones, Pwllheli, yn Archwilwyr cyfrifon y Drysorfa.—2. Penodwyd y personau canlynol i weithredu fel ymddiriedolwyr yn ol Rheol 5ed: Mr. Peter Roberts, Llanelwy; Mr. E. Davies, U.H., Llandinam; Mr. J. R. Davies, Treborth Hall; Mr. J. Herbert Lewis, B.A., Mostyn Quay; Mr. J. Harrison Jones, Liverpool; Mr. Henry Lewis, Bangor; a Mr. J. Roberts, Brynadda.—3. Derbyniwyd Adroddiad y Trysorydd, Mr. Peter Roberts, yr hwn oedd fel y canlyn:—

| | £. | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Gweddill mewn llaw ar ol dwyn traul argraffu pamphled Mr. J. Jones, U.H., Llanfyllin.... | 4 | 2 | 0 |
| Casgliadau— | | | |
| Môn, trwy law Mr. D. Roberts | 30 | 7 | 10 |
| Arfon, trwy law Mr. M. Roberts | 56 | 0 | 10 |
| Lleyn ac Eifionydd, trwy law Mr. R. Jones, U.H. .......... | 30 | 11 | 7 |
| *Dyffryn Conwy, trwy law Mr. Jonathan .......................... | 8 | 0 | 0 |
| *Dyffryn Clwyd, trwy law Mr. T. Roberts ........................ | 34 | 3 | 7 |
| Fflint, trwy law Mr. E. Lewis.. | 36 | 19 | 9 |
| Dwyrain Meirionydd, trwy law Mr. R. Hughes .................. | 57 | 0 | 0 |
| Gorllewin Meirionydd, trwy law Dr. Jones, U.H. ............... | 106 | 1 | 2 |
| Trefaldwyn Uchaf, trwy law Mr. E. Davies, U.H. .......... .. | 272 | 2 | 1 |
| Trefaldwyn Isaf, trwy law Mr. E. Thomas ......................... | 109 | 4 | 8 |
| Liverpool, trwy law Mr. D. Hughes, U.H. ...................... | 167 | 6 | 0 |
| Manchester, trwy law Mr. J. Edwards .............................. | 11 | 5 | 6 |
| Henaduriaeth Lancashire, trwy law Mr. J. Oliver Jones ...... | 16 | 15 | 0 |
| Henaduriaeth Trefaldwyn, trwy law Mr. R. Williams ......... | 9 | 8 | 10 |
| Mr. J. B. Evans, Llandudno ... | 1 | 1 | 0 |
| | 946 | 7 | 10 |
| Cyfroddion *(Donations)*— | | | |
| Oddiwrth Ymddiriedolwyr y diweddar Mr. Thomas Jones | 100 | 0 | 0 |
| Cymunroddion:— | | | |
| Y diweddar Mr. Owen Jones, Rhuddlan ............................ | 20 | 0 | 0 |
| | £1070 | 9 | 10 |

4. Penderfynwyd fod £1000 i'w rhanu eleni o'r Drysorfa.—5. Fod y cynnorthwy o'r Drysorfa i'w dalu gan y Trysorydd ar ddwywaith, y naill yn uniongyrchol ar ol y Gymdeithasfa, a'r llall ar derfyn y flwyddyn.—6. Cyflwyna y Cyfeisteddfod y lleoedd a'r personau canlynol i'r Gymdeithasfa, fel rhai sydd ar y cyfan yn dyfod i fyny â'r rheolau.

* Yr oedd Trysorfa Gynnorthwyol Sirol yn perthyn i'r Cyfarfodydd Misol hyn, a gweddill y casgliadau sirol, ar ol gwneuthur y taliadau lleol hyd amser penodol, ydyw y symiau hyn. Ond o hyn allan rhoddir yr holl gasgliad yn y Drysorfa hon.

| EGLWYSI. | GWEINIDOGION. |
|---|---|
| *Dyffryn Conwy:—* | |
| Trefriw a'r Ysgoldai... | Parch. Evan Davies. |
| *Dyffryn Clwyd:—* | |
| Galltmelyd... ... ; Cwm .. ... ; Prestatyn ... ... | Parch. Edward Jones. |
| Nantglyn ... ... ; Soar .. ... ... ; Peniel .. .. | Parch. D. M. Davies. |
| Pentrecelyn ... ; Graig ... ... | Parch. Evan Jones. |
| Rhuddlan ... ... | Parch. D. R. Griffith. |
| *Sir Fflint:—* | |
| Bodffari ... ... | Parch. Evan Jones. |
| *Dwyrain Meironydd:—* | |
| Llansantffraid ... ; Glyndyfrdwy ... | Parch. Wm. Griffith. |
| Rhydlydan .. ... | Parch. Edward Jones. |
| *Gorllewin Meirionydd:—* | |
| Maentwrog Uchaf... ; " Isaf ... ; Llenyrch ... ... | Parch. G. C. Roberts. |
| Aberllefeni ... ... | Parch. John Owen. |
| *Trefaldwyn Uchaf:—* | |
| Dinas ... ... ; Mallwyd ... ... ; Aberangell ... ... | Parch. W. Williams. |
| Drefnewydd ... | Parch. O. Jones, M.A. |
| Darowen ... ... ; Rhydyfelin... ... | Parch. Robert Jones. |
| *Trefaldwyn Isaf:—* | |
| Tregynon ... ... ; Beulah ... ... | Parch. Owen Hughes. |
| Rehoboth ... ... ; Siloh ... ... ; Gosen ... ... | Parch. Henry Jones. |
| Meifod ... ... ; Bontnewydd ... ; Pontrobert ... ... ; Gad ... ... ... ; Maesgwyn ... ... | Parch. E. Griffith. |
| Carneddau .. .. ; Creiglwyn ... ... | Parch. J. Hughes. |
| Cefncanol ... ... ; Rhiwlas ... ... ; Llansilin ... ... | Parch. R. Edwards. |
| Wood St., Birmingham ... | Parch. W. Williams. |
| Hockley Hill, eto... | Parch. John Pritchard. |
| Hill's Lane, Amwythig ... ... | Parch. Robert Davies. |
| (Zion), Croesoswallt | Parch. John Evans. |
| *Manchester:—* | |
| Rochdale ... ... ; Bury ... ... ; Ashton ... ... | Parch. E. Humphreys. |
| *Lancashire Presbytery:—* | |
| Everton Brow ... | Parch. John Foulkes. |
| Garston ... ... | Parch. R. Thomas. |

| | |
|---|---|
| St. John's, Runcorn. | Parch. E. Williams. |
| Hill St., Wrexham.. | Parch. E. Jerman. |
| City Road, Chester.. | Parch. John Williams. |

*Salop and Montgomeryshire Presbytery:—*

| | |
|---|---|
| Newtown ... | Parch. E. Parry, M.A. |

7. O herwydd nad oedd yr eglwysi na'r gweinidogion wedi cael amser i ymbarotoi ar gyfer gofynion y Drysorfa, a thrwy fod y Cyfeisteddfod yn credu y bydd iddynt ymdrechu dyfod i fyny â'r rheolau erbyn y flwyddyn nesaf, cyflwyna y Cyfeisteddfod y rhai canlynol i sylw y Gymdeithasfa, gan farnu yn briodol estyn cymhorth iddynt y flwyddyn hon, er nad ydynt ar hyn o bryd yn dyfod i fyny â'r Rheolau.

*Sir Fôn:—*

| | |
|---|---|
| Rhoscolyn ... ... | Parch. J. V. Williams. |

*Lleyn and Eifionydd:—*

| | |
|---|---|
| Prenteg ... ...<br>Horeb ... ... | Parch. E. Lloyd. |
| Cedron ... ...<br>Bethel ... ...<br>Cwmstrallyn ... | Parch. R. O. Williams. |
| Tydweiliog .. ...<br>Penllech ... .. | Parch. R. Roberts. |
| Garn ... ...<br>Brynkir . . ... | Parch. H. Hughes. |

*Dyffryn Clwyd:—*

| | |
|---|---|
| Llanddulas... ...<br>Llysfaen ... ... | Parch. T. Hughes. |
| Towyn ... ...<br>Morfa ... ... | Parch. Jonathan Jones. |

*Sir Fflint:—*

| | |
|---|---|
| Llandegla ... ...<br>Pentrebwlch ... | Parch. R. E. Roberts. |
| Ruabon ... ..<br>Cefn... .. .. | Parch. John Jones. |

*Dwyrain Meirionydd:—*

| | |
|---|---|
| Gwyddelwern ..<br>Moeladda ... | Parch. David Jones. |

*Gorllewin Meirionydd:—*

| | |
|---|---|
| Llanelltyd ... ..<br>Bontddu ... ... | Parch. John Davies. |
| Harlech ... ...<br>Llanfair ... .. | Parch. Richard Evans. |
| Pennal ... <br>Maethlon ... ... | Parch. R. Owen, M.A. |
| Carmel ... ...<br>Siloh ... ...<br>Rhiwspardyn ... | Parch. Hugh Roberts. |

*Trefaldwyn Isaf:—*

| | |
|---|---|
| Llanrhaiadr ...<br>Maengwynedd ...<br>Elim ... ...<br>Cymdu ... ...<br>Pentrefelin . ... | Parch. E. Thomas. |
| Llangair ... ...<br>Pentyrch ... ...<br>Bethlehem ... ...<br>Soar .. ... ... | Parch. J. Grey Jones. |

8. Awdurdodwyd yr Ysgrifenydd i anfon at y personau a'r eglwysi nad ydynt eto yn cydffurfio â'r rheolau.—9. Dadganwyd cydymdeimlad y Cyfeisteddfod â'r Cadeirydd, y Parch. Dr. Edwards, a phenodwyd ar fod y Parch. Roger Edwards i gyflwyno iddo ein gofid yn herwydd achos ei absennoldeb, a... gweddi a'n gobaith am ei adferiad buan.—... Fod cydnabyddiaeth o £20 yn cael eu t... i'r Ysgrifenydd Cyffredinol ar ddygiad all... yr Adroddiad blynyddol o weithrediadau... Drysorfa.

Barnwyd y byddai yn well rhoddi ... Adroddiad uchod i lais y Gymdeithasfa ... ddwywaith; ac felly penderfynwyd ein b... yn derbyn y rhan gyntaf o'r Adroddia... ac yn dymuno dadgan ein llawenydd a'... diolchgarwch yn herwydd y wedd addawol sydd ar y symudiad hwn yn ein plith, ynghyd a'i gyflwyno eto yn galonog i ystyriaeth a chariad ein Cyfarfodydd Misol a'n heglwysi, er sicrhâu ei ddefnyddioldeb mwy rhagllaw.

Wedi ychydig o ymdriniaeth pellach ar y rhan arall o'r Adroddiad, cyttunwyd fod y Gymdeithasfa yn derbyn y rhan o'r Adroddiad a gynnwysa enwau yr eglwysi a'r gweinidogion nad oeddynt yn llawn ddyfod i fyny â'r rheolau, ac yn ei chadarnhâu yr un modd.

---

#### SEBASTOPOL, AUSTRALIA.

Cynnaliodd eglwys y Methodistiaid Calfinaidd sydd yn ymgynnull yn y lle uchod, ei chyfarfod blynyddol ar y 9fed o Orphenaf, pryd y gweinyddwyd yn y bore gan y Parch. David Jones, gynt o Ddinbych, ond yn awr o Melbourne, yn Gymraeg oddiar Rhuf. viii. 2. Yn y prydnawn, pregethwyd yn Saesoneg gan y Parch. R. Kennedy, gweinidog y Presbyteriaid, oddiar Heb. xii. 16. Yn yr hwyr cafwyd pregeth yn Saesoneg gan y Parch. D. Jones, oddiar 2 Pedr i. 19—21.

Ymhell cyn amser dechre y bore Sabboth, ymgasglai ein cydgenedl o bob cyfeiriad i wrando y "gŵr dyeithr o Gymru," nes yr oedd y capel yn llawn cyn i Mr. Jones, gyrhaedd. Yr oedd arddeliad neillduol ar yr holl wasanaeth; nid oedd dim twrf na rhwysg, ond y "llef ddystaw fain" yn cyrhaedd calonau dynion. Cawsom oedfa dda yn y prydnawn. Gŵr o gymeriad uchel yw Mr. Kennedy, ac yn ymddangos yn byw yn frâs ar ddanteithion yr efengyl. Ond yr oedd rhyw ddysgwyliad neillduol drwy y dydd gan ein cymydogion y Saeson am bregeth yr hwyr, er mwyn clywed Mr. Jones yn eu hiaith eu hunain; ac ni buont yn ol o gymeryd mantais o'r cyfleusdra, oblegid er i ni gyrhaedd yr addoldŷ ugain mynyd cyn amser dechre, nid yn unig yr oedd y capel yn orlawn, ond yr oedd ugeiniau y tu allan. Ni chafodd neb yn Nghymru well gwrandawiad nag a gafodd Mr. Jones, er cymaint y gynnulleidfa. Melus gofir ei ymweliad â Sebastopol am hir amser. Gall ei frodyr a'i gyfeillion yn Nghymru fod yn dawel eu meddyliau yn eu cylch; oblegid y mae yn cael derbyniad tywysogaidd gan yr Australiaid ymhob man, a thyrfâoedd yn ymdyru i'w wrando.

Cawsom gyfarfod tê llwyddiannus bryd-nawn y dydd Llun canlynol, a chyfarfod cy-hoeddus yn yr hwyr. Llywyddodd y Parch. W. M. Evans, gweinidog y Methodistiaid Calfinaidd. Methodd y Parch. D. Jones a dyfod i'r cyfarfod o herwydd llesgedd, yr hyn oedd yn ddirfawr siomedigaeth. Cym-erwyd rhan yn y cyfarfod gan Mri. R. Lewis, Wm. Hedges, Theo. Williams, a J. Leckie, Arweinydd y côr, Mr. T. Evans, Ballarat.

E. P.

---

MARWOLAETH Y PARCH. WATKIN WILLIAMS, PENCOED, GORLLEWIN MORGANWG.

DYDD Sadwrn, yr 16eg o Fedi, bu farw "y brawd anwyl, a'r gweinidog ffyddlawn," y Parch. Watkin Williams, Pencoed, yn 56 mlwydd oed. Yr oedd efe wedi pregethu ddwywaith yn Briton Ferry y Sabboth cyn ei farwolaeth; ac yr oedd yn bwriadu treulio yr wythnos gyda rhai o'r cyfeillion yno; ond ddydd Mawrth, yr oedd yn teimlo ei hen lesgedd corfforol yn ymadnewyddu, fel yr aeth adref i Bencoed y dydd canlynol; a'r prydnawn Sadwrn ar ol hyny yr oedd ei ys-bryd wedi cyrhaedd yr orphwysfa fawr dra-gywyddol sydd i bobl Dduw. Dechreuodd bregethu er ys yn agos i 35 mlynedd; ac or-deiniwyd ef yn y flwyddyn 1857. Yr oedd efe yn enedigol o Tôn yr efail, ac yn nai i'r Hybarch William Evans; ac yn Nhôn yr efail y cychwynodd ar y gwaith o bregethu. Fel y sylwai y Parch. W. Williams, Abertawe, yn Nghymdeithasfa y Blaina, yr oedd dys-gwyliad mawr wrtho ar ei gychwyniad; ac ni chafodd y dysgwyliad hwnw ei siomi. Ond er ys tuag un mlynedd ar bymtheg yn ol, syrthiodd yn ysglyfaeth i anhwyl tost y *bronchitis*, yr hwn a achlysurwyd, meddir, gan wely *damp*, er na ddywedai Mr. Williams ymha le y cafodd efe y gwely *damp* hwnw; a'r anhwyldeb poenus a lynodd wrtho o hyny hyd ei farwolaeth. Byddai yn myned at ei gyhoeddiadau Sabbothol ar amserau yn mis-oedd yr haf, gan fod ysbryd pregethu yn gryf ynddo hyd y diwedd; ond nid anfynych, wedi iddo fyned, y byddai oeri ychydig yn peri i'w hen afiechyd ymosod yn ormesol arno. Dyoddefodd ei gystuddiau trymion gydag amynedd cristion; a sylwai ei fod wedi dysgu dyweyd yn groëw, "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?" Adroddai wrth gyfaill ei fod yn codi lawer bore heb nemor neu ddim awydd am foreufwyd, ond ei fod yn awyddus am ddyfod i lawr er mwyn gallu cadw'r ddyledswydd deuluaidd gyda ei deulu, ac felly yn gallu dyweyd gyda Job, "Hoffais eiriau dy enau yn fwy na'm hym-borth anghenrheidiol." Claddwyd ef yn Nhôn yr efail ddydd Iau, Medi 21ain, pryd yr oedd tyrfa lïosog, yn bregethwyr, blaen-oriaid, perthynasau, a chyfeillion yn gyffred-inol, wedi dyfod ynghyd, ac y pregethodd y Parch. David Saunders yn briodol ac yn effeithiol ar yr achlysur oddiar *Colossiaid* i. 24, 25. Gadawodd weddw ac amddifaid i hiraethu ar ei ol.

---

HAELFRYDEDD.

YN Nghyfarfod Misol Trefaldwyn Uchaf, a gynnaliwyd yn Carno, yn niwedd Medi, pen-derfynwyd cyflwyno *address* i D. Davies, Ysw., Aelod Seneddol, Llandinam, fel am-lygiad o' deimladau cynhes y frawdoliaeth tuag ato am ei haelfrydedd mawr at achos yr Arglwydd yn ein plith fel Cyfundeb, ac ynglŷn â Sir Drefaldwyn yn neillduol. A phenodwyd amrywiol frodyr, yn weinidogion a blaenoriaid, yn gyfeisteddfod i ddwyn hyn ymlaen. Yn Nghymdeithasfa ddiweddaf y Deheudir, a gynnaliwyd y mis diweddaf yn y Blaina, rhoddwyd yno hefyd deyrnged o ddiolchgarwch i Mr. Davies. Hysbysid gan y Parch. W. Evans, M.A., Pembroke Docks, ysgrifenydd Trysorfa y Gweinidogion, y der-byniwyd o'r gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau yn y Dê y swm o £6887 10s., ac y dysgwylid ychwaneg eto. Hyn, gyda'r ddwy fil o bunnoedd a roddwyd gan garedig-rwydd Mr. D. Davies, a wna gyfanswm presennol y Gronfa yn £12,546. Penderfyn-odd y Gymdeithasfa, Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch mwyaf gwresog i'r boneddwr anrhydeddus, D. Davies, Ysw., A.S., Llan-dinam, am ei rôdd dywysogaidd o £2000 at Drysorfa y Gweinidogion; a'n gweddi ydyw ar i'r brawd anrhydeddus ac anwyl gael byw yn hir, a pharhâu i fod yn llwyddiannus yn ei holl ymgymeriadau, ac yn neillduol ar iddo gael mwynhâu yn helaeth o lawenydd yr iachawdwriaeth, gan ddymuno yr un fendith i'w deulu.

---

TRAETHODYN GAN Y PARCH. T. LEVI AR FFEIRIAU CYMRU.

YN Nghyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd a gynnaliwyd yn Llithfaen ddechre Hydref, dygwyd i sylw draethodyn gwerthfawr y Parch. Thomas Levi ar *Ffeiriau Cymru*. Mynegid mai buddiol iawn fyddai cael rhyw lwybr i'w wasgaru drwy'r wlad, ac yn enwedig i'w roddi yn nwylaw ieuenctyd yr Ysgolion Sabbothol. Y mae yn gyhoeddedig gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol, i'r hon y mae Mr. Levi yn oruchwyliwr ffydd-lawn a medrus dros Gymru. Mr. Prichard, Tŷ newydd, Fourcrosses, a wnaeth yn hysbys yn y cyfarfod ei fod yn barod i fyned yn gyfrifol am fil o'r traethodau, pa fynegiad a dderbyniwyd gyda chymeradwyaeth mawr; a phenderfynodd y Cyfarfod Misol i anfon am nifer penodol i'w dosbarthu yn y gwa-hanol Ysgolion Sabbothol.

---

ADGYWEIRIAD CAPEL.

Y DYDD a'r Sabboth cyntaf o Hydref, cynnal-iwyd cyfarfod pregethu yn y Cefn canol, Llansilin, Trefaldwyn Isaf, i ail agor y capel, ar ol gwneuthur adgyweiriad da arno. Pregethwyd gan y Parchn. David Hughes, Llanfechain; Richard Edwards, Rhiwlas; a Thomas Morris Jones, Siloh, Caernarfon. Cafwyd cynnulleidfa lïosog, a phregethu da; a chyfrifid y cyfarfod yn un llwyddiannus ymhob modd.

---

SYMUDIAD Y PARCH. D. D. JONES, UPPER BANGOR.

Y MAE yn hysbys fod Mr. Jones, er ys amryw

flynyddoedd bellach, yn brif athraw ysgol ddyddiol yn Upper Bangor; ac yn awr y mae wedi symud i gynnal ysgol gyffelyb yn nhref Rhuthyn. Ar y 25ain o Fedi, ar fin ei symudiad, cadwyd cyfarfod yn nghapel y Twrgwyn, i ddadgan teimlad ei gyfeillion crefyddol yno ar ei ymadawiad oddiwrthynt. Cymerwyd y gadair gan Mr. J. E. Roberts; a chafwyd anerchiadau teimladol gan y Parchn. D. C. Davies, M.A. (Llundain), Hugh Roberts, a John Williams, a Mr. J. Price, o'r Coleg Normalaidd, ac eraill, y rhai a roddent dystiolaeth uchel i gymeriad Mr. Jones, ac i'w wasanaethgarwch ynglŷn â'r achos crefyddol. Cyflwynwyd pwrs iddo gan y Cadeirydd, yn cynnwys nifer o ddarnau aur; ac yntau mewn dwys deimlad a gydnabyddodd garedigrwydd ei gyfeillion. Da genym ddeall fod Mr. Jones wedi cael ei dderbyn yn groesawus iawn gan Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd; a hyderwn y caiff fod yn gysurus a defnyddiol yn ei le newydd.

---

TYSTEB I'R PARCH. O. HUGHES, CAERGYBI.

Dywed yr Ysgrythyr wrthym am "roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus," a hyny a wnaeth eglwys Kingsland, Caergybi, yn ddiweddar trwy gyflwyno tysteb i'w gweinidog ffyddlawn, y Parch. Owen Hughes, Caergybi. Y mae efe wedi bod yn llafurus a ffyddlawn mewn cysylltiad â'r eglwys hon er pan ei sefydlwyd oddeutu 27 o flynyddoedd yn ol. Y mae wedi bod megys yn gafael yn ei llaw, a dysgu iddi gerdded, ac yn awr yn cael y pleser o'i gweled yn eglwys gref a blodeuog. Bu yn dilyn y cyfarfodydd crefyddol yn gyson trwy bob tywydd ac anhawsderau, yn ymweled â'r aelodau, yn cynnal cyfarfodydd darllen a gweddïo gyda'r ieuenctyd, yn parotoi llafur, ac yn arholi yr Ysgol Sabbothol, yn beirniadu yn y cyfarfodydd cystadleuol, &c. Mewn gair, y mae efe wedi bod yn "ffyddlawn yn yr holl dŷ." Yr oedd y cwbl yn llafur cariad, heb ei fod yn derbyn unrhyw gydnabyddiaeth sefydlog am ei lafur; ond diammheu fod ei wobr yn ei aros, pan y caiff "dâl gan ei Dad yr hwn sydd yn y nefoedd." Ond yn ddiweddar, meddyliodd y gwŷr ieuainc oeddynt yn aelodau o'r Cyfarfod Darllen a Gweddïo, a gynnelid ganddo, mai doeth a dyledus ydoedd dangos iddo gydnabyddiaeth sylweddol am ei ffyddlondeb; a chynnaliwyd cyfarfod i ystyried y ffordd ddoethaf i gael hyn oddiamgylch; ac yno penderfynwyd rhoddi tysteb iddo, a gofyn i holl aelodau yr eglwys gyfranu tuag ati. Dewiswyd saith o honynt yn bwyllgor, ac un o'r cyfryw yn Drysorydd, a'r llall yn Ysgrifenydd, y rhai oedd hefyd i fod yn gasglyddion. Felly aeth y casglyddion oddiamgylch; ac yr oedd yr holl aelodau yn cyfranu gyda'r parodrwydd mwyaf.

Nos Wener, Medi 29ain, cyflwynwyd y dysteb iddo gan y Trysorydd, yn y Cyfarfod Cystadleuol a gynnelid yma. Darllenwyd anerchiad rhagorol gan Mr. Owen Jones, Tŷ Mawr, un o ddiaconiaid yr eglwys, yr hon oedd yn amlygu diolchgarwch yr eglwys iddo am ei ffyddlondeb a'i lafur, ac i'r gwŷr ieuainc hefyd am fod mor ymdrechgar gyda'r dysteb. Anerchwyd y cyfarfod yn gynhes gan Mr. Edwards a Mr. Moses, dau arall o'r diaconiaid, a chan Mr. Chambers, Kingsland, ac eraill. Yna cyflwynwyd y dysteb gan y Trysorydd, mewn araeth ddoeth a phwrpasol, sef pwrs hardd, ydoedd yn rhodd ychwanegol gan y pwyllgor, a hwnw yn llawn o aur, yr hyn ydoedd yn amlygiad o gariad yr eglwys tuag ato. Wedi hyny darllenwyd anerchiad barddonol rhagorol gan y Parch. R. Jones (*Glân Alaw*), Caergybi, yr hwn a gafodd gymeradwyaeth uchel gan y gynnulleidfa fawr oedd yn bresennol. Cydnabyddodd Mr. Hughes dderbyniad y dysteb mewn araeth lawn o deimlad a diolchgarwch, pryd y rhoddwyd llonfloeddiadau byddarol iddo gan y gynnulleidfa. Tystiolaeth pawb ydoedd, "ei fod yn haeddu gwneuthur hyn iddo." Caffed eto flynyddau lawer i lafurio yn ein plith, a boed ffrwyth ei lafur yn llawer helaethach.—*Aelod.*

---

LIVERPOOL—DARLITH.

Nos Fercher, y 18fed o Hydref, traddodwyd darlith yn nghapel Prince's Road, gan J. Alun Jones, Ysw., *Barrister at Law*, ar "South Africa, *its people and its industries, Ostrich Farming and Diamond Mining.*" Cymerwyd y gadair gan John Williams, Ysw., Moss Bank. Cafwyd darlith alluog, ddyddorol, ac addysgiadol; ac yr oedd yn bresennol gynnulleidfa dda o wrandäwyr astud. Yr oedd yr elw i fyned at gynnorthwyo i gynnal achos y "Genadaeth Drefol Gymreig" yn Yates Street. Cynnygiwyd diolchgarwch i'r darlithydd gan Mr. T. Marchant Williams, M.A., o Lundain; a chefnogwyd gan Mr. Thomas Powell, M.A., Bootle College. Cynnygiwyd diolchgarwch i'r Cadeirydd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., a chefnogwyd gan John Lewis, Ysw., Hope Street.—*Kappa.*

---

DIRWEST.

Yn Nghyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd, a gynnaliwyd yn Morfa Nefyn, Medi 4 a'r 5ed, darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o eiddo y Pwyllgor Dirwestol:—1. Teimla y Pwyllgor yn llawen fod y ddeddf newydd er cau y tafarnau ar y Sabboth yn awr wedi dyfod i rym; ac annoga fod i ymdrech neillduol gael ei wneyd ymhob cymydogaeth i gael y rhai oedd o'r blaen yn mynychu y tafarnau i ddyfod i'r Ysgol Sabbothol ac i wrando yr efengyl.—2. Fod i gyfres o gyfarfodydd dirwestol gael eu cynnal ymhob capel drwy Leyn ac Eifionydd o hyn i ddechre y gauaf, er cynhyrfu y wlad ar y cwestiwn dirwestol.—3. Fod ymdrech arbenig i'w wneyd i feithrin y plant yn egwyddorion dirwest ymhob eglwys, a bod pob Cyfarfod Dosbarth i ymdrechu sefydlu Cymanfa Ddirwestol i'r plant yn y dosbarthiadau, er mwyn mwy o zel o blaid yr achos.

# Hanes Crefydd yn Gyffredinol.

### Y GYNGRES EGLWYSIG.

Cyngres yw un o'r geiriau a ddyry y Parch. D. Silvan Evans yn ei Eirlyfr am *Congress;* a chan fod y Gymraeg yma mor debyg i'r Saesoneg, yr ydym yn defnyddio yr ymadrodd "Cyngres Eglwysig" am y *Church Congress.* Y Gymanfa hon am eleni a gynnaliwyd yn Derby, dan lywyddiaeth Esgob Lichfield. Nid oes gan y gyngres yr un awdurdod eglwysyddol; ond cydgynnulliad o glerigwyr a lleygwyr ydyw, yn ymgasglu o honynt eu hunain, i ddarllen papyrau a gwneuthur sylwadau ar achosion perthynol i'r Eglwys yn gyffredinol. Ceir yno bob plaid, yn Uchel ac Isel a Llydain Eglwyswyr, oll yn dadleu dros eu hochr eu hunain, ac felly yn anghenrheidiol i'r llywydd fod yn ŵr doeth ac amyneddus; ac yr oedd Esgob Lichfield, meddir, yn dra chanmoladwy fel y cyfryw. Yr oedd yn hawdd deall, oddiwrth areithiau a phapyrau, gan bersonau o enwogrwydd a phwysigrwydd, fod yr argyhoeddiad yn ffynu am eu Heglwys, ei bod yn addfedu at un o'r cyfnewidiadau mwyaf yn ei hanes; ac yn enwedig yr oedd Dr. Walsham How, Esgob Bedford, mewn pregeth, yn rhagrybuddio ei frodyr fod yr amser yn nesâu pan y byddai Eglwys Loegr yn myned dan yr un orchwyliaeth ag a brofodd yr Eglwys Wyddelig, ac yn eu cynghori i ddarpar at hyny, nid trwy ddal i fyny haeriadau am urddas ac uchafiaeth eglwysyddol, ond trwy fuchedd sanctaidd a llafurwaith efengylaidd am achubiaeth y bobl. Yr oedd yn y gyngres rai personau yn llefaru yn arw yn erbyn Anghydffurfiaeth, ac eraill yn siarad yn rhesymol a charuaidd am Anghydffurfwyr; a cheid rhai yn rhedeg at ymylon os nad i ganol Pabyddiaeth, ac eraill yn dadleu yn wresog dros Brotestaniaeth efengylaidd. Yr oedd yn amlwg iawn oddiwrth y dadleuon, medd y *Spectator*, fod y gwahaniaeth sydd yn ffynu rhwng y Defodwyr a'r blaid Efengylaidd yn yr Eglwys Sefydledig, yn llawer mwy na'r gwahaniaeth rhwng y Defodwyr â Phabyddion, a rhwng y blaid Efengylaidd âg Ymneillduwyr.

---

### UNDEB CYNNULLEIDFAOL LLOEGR A CHYMRU.

Cynnelir dau gyfarfod mawr blynyddol perthynol i'r Undeb Cynnulleidfäol: un yn mis Mai yn Llundain, a'r llall yn mis Hydref mewn tref yn y wlad. Y cyfarfod hydrefol a gynnaliwyd eleni yn ninas Bristol; ac adroddir ei fod yn un tra llwyddiannus o ran ei boblogrwydd a'i weithrediadau. Mawr ganmolir yr araeth agoriadol gan y Llywydd, y Parch. Dr. Macfadyen, Manchester. Bu yno lawer o faterion pwysig dan sylw, ac ysbryd rhagorol yn cael ei ddangos yn yr holl areithiau. Yr oedd dirprwyaeth ymweliadol, yn ol yr arfer, oddiwrth y Bedyddwyr, y Wesleyaid, a'r Presbyteriaid, yn mynegu eu hewyllys da tuag at eu brodyr Annibynol. Ond yr hynodrwydd mawr ynglŷn â chyfarfod yr Undeb yn Bristol oedd dirprwyaeth o bum' deg a saith o glerigwyr, yn cael eu blaenori gan Ddeon Bristol, ac yn cyflwyno anerchiad o groesawiad a llongyfarchiad. Dyma beth na welwyd o'r blaen ynglŷn â Chymanfa o Anghydffurfwyr. Mae yn wir nad oedd y clerigwyr parchedig yn gynnrychiolwyr penodedig gán yr un dosbarth o'r Eglwys Sefydledig, ond yn gweithredu yn gwbl yn eu cymeriad personol; ond yr oedd yn olwg hyfryd gweled cynifer o offeiriaid, a rhai o honynt yn wŷr o urddas a phwys, wedi dyfod o honynt eu hunain i ddangos yn ymarferol na ddylai un gwahaniaeth ynghylch cyfansoddiad eglwys na chysylltiad yr Eglwys â'r Wladwriaeth, beri oerfelgarwch a phellder rhwng y rhai sydd yn gwasanaethu yr "un Arglwydd," ac yn dal yr "un ffydd," sef, "y ffydd, yr hon a rodded unwaith i'r saint."

---

### UNDEB BEDYDDWYR PRYDAIN FAWR A'R IWERDDON.

Cynnaliwyd Cymanfa Hydref Undeb y Bedyddwyr yn Liverpool, dan lywyddiad y Parch. J. Jenkyn Brown, Birmingham. Y dydd cyntaf, traddodwyd pregeth ddyddorus ac adeiladol i gynnulleidfa fawr gan Mr. Spurgeon oddiar *Iago* iv. 2, 3. Mynegid fod gan y Bedyddwyr yn Lloegr 1,929 o eglwysi, yn cynnwys 215,000 o aelodau, ac yn Nghymru 543 o eglwysi, yn cynnwys 69,000 o aelodau. Adroddid eu bod ar ol yr enwadau eraill gyda golwg ar achosion Seisonig yn Nghymru; a phenderfynid llafurio yn egnïol i godi a dal i fyny y cyfryw achosion rhagllaw. Yr oedd teimlad da a phob undeb yn ffynu yn yr holl gynnadleddau.

---

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MR. ROBERT JONES, PENNANT, YSPYTTY, DWYRAIN MEIRIONYDD.

*Gan y Parch.* J. Howell Hughes, *Ysbytty.*

Yr oedd Mr. Robert Jones yn un a wasanaethodd swydd diacon yn dda, a thrwy hyny a ennillodd iddo ei hun radd dda a hyfder mawr yn y ffydd sydd yng Nghrist Iesu. Gwasanaethodd hi am rai blynyddoedd yn eglwys y Tŷ Mawr. Yn y gymydogaeth hono y magwyd ef, a chan yr eglwys yno ei dewiswyd i'r swydd. Gwasanaethodd hi am yr ugain mlynedd olaf o'i oes yn eglwys Ys-

bytty, a gwnaed adwy lydan yn y swyddogaeth drwy ei ymadawiad.

Yr oedd ynddo lawer o gymhwysderau i'r swydd. Yn un peth, yr oedd yn ddyn pur gall. Ystyrid ef yn un o ddynion callaf y gymydogaeth, a dyweyd y lleiaf. Yr oedd yn meddu ar gryn lawer o'r peth hwnw a adnabyddir wrth yr enw synwyr cyffredin. Derbyniasai, fel y mae'n ymddangos, gynnysgaeth dda o hwn ar y cyntaf, ac yr oedd yntau drwy ei arfer yn chwanegu ato hyd derfyn ei oes. Yr oedd hefyd yn meddu ar lawer o annibyniaeth meddwl. Ni phiniai ei hun wrth lawes neb pwy bynag, ond meddyliai a barnai trosto ei hun. Yr oedd oblegid hyn yn dra gwahanol i'r dosbarth hwnw a ddywedant *Ië* gyda chwi ac *Ië* drachefn gyda'ch gwrthwynebydd—a ddywedant *ie* gyda'r olaf o hyd, pa fodd bynag y dygwyddo i hwnw fod yn dywedyd. Ac ni throai gyda *phob* awel, na chyda yr *un* awel; nid corsen yn ysgwyd gan wynt ydoedd, ond yn hytrach cedrwydden gref. Er hyny yr oedd yn ddigon mawrfrydig ei feddwl, ac yn ddigon iraidd ei ysbryd, i ymostwng i farn ei frodyr, ac i gydweithredu â hwy, hyd yn nôd pan y dygwyddai iddo fod yn barnu yn wahanol iddynt. Ac nid oedd yn un anhawdd o gwbl i'w ennill, ond byddai yn hawdd ei argyhoeddi gyda rhesymau. Ac yr oedd yn un gwerth trafferthu tipyn i'w argyhoeddi, pe buasai raid, gan y gellid dibynu arno wedi'n. Gwedi ei droi, safai ac ni thröai yn ei ol. Yr oedd hefyd yn meddu ar lawer o wroldeb. Safai dros y gwir, ac ni throai ei gefn yn nydd brwydr. Dywedai ei olygiad er iddo fod yn wahanol i eiddo y mwyafrif, a dywedai y gwir yn ddidderbyn wyneb hyd yn nôd pan na byddai hwnw yn un hyfryd i glust na theimlad y gwrandäwr. Medrai ddyweyd y câswir, ac fe'i dywedai. Nid oedd yn un diystyr o deimladau. Ni ddywedai ddim gyda'r amcan o archolli teimlad; ond yr oedd yn un â chanddo fwy o barch i wirionedd nag i deimlad, ac yn un a ofalai fwy am leshâd ei gyd-ddynion nag am eu boddhâu. Y mae y rhai hyn yn nodweddion gwerthfawr yn nghymeriad unrhyw un, ond yn arbenig yn nghymeriad swyddog eglwysig; ac fe ddylid amcanu eu cael yn swyddogaeth pob eglwys.

Gallu gwerthfawr arall ynddo ydoedd gallu i lafurio. Nid yw'n hawdd i flaenor gadw ar y blaen yn hir iawn heb barhâu i lafurio. Ond y mae defnyddioldeb a bywyd blaenor fel blaenor yn dibynu i fesur mawr ar ei lafur. Yr oedd wedi darllen llawer ar y Bibl, ac ar lyfrau yn taflu goleu arno, yn more ei oes. Meddai farn gywir ac addfed ar athrawiaethau crefydd, ac yr oedd wedi profi eu nerth a'u melusder yn ei enaid. Eithr nid oedd yn gorphwys ar a brofasai ac a ddarllenasai, ond yr oedd yn parhâu i ddarllen llawer iawn yn ei flynyddoedd diweddaf. Mynai hamdden gan ei amgylchiadau i ddarllen. Ac nid yn fynych y cyfarfyddir âg un mewn cyffelyb amgylchiadau yn darllen cymaint ag yr oedd efe. Yr oedd yn myfyrio llawer, ac mewn llafur cyson am brofiad helaethach a dyfnach o'r gwirionedd.

Coleddai syniadau uchel iawn am weinidogaeth yr efengyl. Yr oedd yn un o'r gwrandäwyr goreu. Dywedai un ag oedd yn ei adnabod yn dda na welsai efe ddim yn gorchfygu R. J. yn hollol ond y weinidogaeth; a pha fodd bynag am unpeth arall, byddai y weinidogaeth yn ei orchfygu yn hollol a'r brydiau—ceid ei weled yn wylo yn hidl. Yr oedd gan yr athrawiaeth am yr adgyfodiad a'r gwirioneddau am y nefoedd, ddylanwad anghyffredin arno.

Yr oedd yn ddyn gwerthfawr iawn yn y cyfarfod eglwysig. Yr oedd ganddo fedr mawr i holi a chynghori, a dawn helaeth i draethu ar bwnc. Medrai holi plant, a chynghori plant, fel plant. Gellid tybio wrth ei glywed yn gwneuthur hyn yn nechre y cyfarfodydd mai holwr a chynghorwr plant ydoedd, a dim arall; ond pan elai i ymddyddan â rhai mewn oed, dangosai yr un medr. Yr oedd yn un medrus anghyffredin i holi profiadau a rhoddi cyfarwyddiadau. Beth bynag a geid yn yr oes o'r blaen, eithriad na chyfarfyddir â hi ond anfynych yn yr oes hon yw cael neb mor fedrus ag oedd efe at y gorchwyl hwn. Pa wêdd bynag fyddai ar y profiad, byddai ganddo gyflawnder o adnodau a sylwadau cyfaddas iddo; a byddai newydd-deb *yn*, a mesur mawr o eneiniad *ar*, yr hyn oll a ddywedai. Yr oedd yn ddyn mawr iawn yn y cyfarfod eglwysig, yn llawer mwy yma nag unlle arall. Ac am hyny ni welodd neb mo hono ef yn iawn ond y rhai a'i gwelsant yn y cyfarfod eglwysig yn y blynyddoedd diweddaf. Yr oedd yn ymdeimlo â chyfrifoldeb mawr ynglŷn â'r cyfarfodydd hyn, a diau fod hyny yn rhoi mesur o reswm am yr hyn ydoedd ynddynt. Byddai ynddynt yn gyson, er fod ganddo ddwy filldir i ddyfod, ac arno gryn lawer o ofalon gyda'r bywyd hwn; byddai yn rhaid cael rhywbeth pur fawr i'w attal i'r cyfarfod eglwysig—ac i'w attal rhag dyfod yn brydlawn—i fod y blaenaf un yn nhŷ y capel.

Bendithiwyd ef â phlant. Cafodd y fraint o ddwyn i fyny bedwar ar ddeg. Ond yn nechre y flwyddyn 1878, cymerodd yr Arglwydd un o'r meibion ato ei hun, pan yn 24ain mlwydd, ac effeithiodd hyny yn fawr arno. Ni bu yr un dyn byth ar ol hyny. Er nad ellir dyweyd i'r amgylchiad amharu ei iechyd, eto caed arwyddion yn fuan fod ei natur yn llesgâu, a cheid fod sŵn mwy nefol yn ei brofiad a'i ymadroddion. Yr oedd dau beth yn peri i'r rhai a'i hadwaenent ofni er ys misoedd cyn ei ddyfod nad oedd ei ymddattodiad ymhell. Yn un peth, yr oedd yn gwaelu yn gyflym o ran ei gorff, a pheth arall yr oedd yn myned yn fwyfwy ysbrydol o ran ei brofiad; y dyn oddiallan yn cael ei lygru, a'r dyn oddi mewn yn cael ei adnewyddu o ddydd i ddydd.

Ychydig y bu yn wael iawn. Ni bu ef yn gorwedd ond o fore ddydd Gwener hyd fore y dydd Mawrth dilynol. Deallai ei fod yn myned oddiyma. Trefnodd ei dŷ yn bwyllog, ac ar ol gorphen dywedodd wrth yr hwn oedd yn ysgrifenu, "Dyma fi wedi gadael yr hyn oll oedd ar fy enw i'r wraig a'r plant. Beth sydd genyf eto i mi fy hun?" Ac ymhen ychydig ychwanegodd, "Y mae genyf fwy nag a adewais iddynt hwy. Y mae

genyf ddigon dros byth." Dywedai nos Sabboth pan yn bur wael,

"Am fod fy Iesu 'n fyw,
Byw hefyd fydd ei saint;
Er gorfod goddef poen a briw
Mawr yw eu braint:
Bydd melus lanio draw
'R ol bod o dòn i dòn,
Ac mi rof ffarwel maes o law
I'r ddaear hon."

Bu farw bore dydd Mawrth, Medi 21ain, 1880, yn 66 mlwydd oed. Daeth tyrfa lliosog ynghyd y dydd Iau dilynol i hebrwng ei weddillion i'r bedd. Claddwyd ef yn mynwent eglwys Ysbytty.

# Amrywiaethau.

### CREDINIAETH YMARFEROL.

Yr ydych yn cyfarfod â theithiwr ar y ffordd, yr hwn sydd yn dyweyd wrthych fod y bont draw dros yr afon wedi syrthio ac ymhollti, ac os anturiwch ar hyd-ddi y byddwch yn debyg o foddi. Os byddwch yn ei gredu, chwi ewch yn eich hôl; ond os ymlaen yr ewch, bydd yn rhesymol iddo feddwl eich bod yn ei anghredu: ac felly efe a ddywed wrthych, mae yn debyg, "Os na chredwch fi, gwnewch brawf o hyn, ynte." Neu, dyna eich meddyg yn dywedyd wrthych fod anhwyldeb yn cynnyddu arnoch a all mewn ychydig amser fod i chwi yn anfeddyginiaethol a marwol, ond os ymarferwch yn ddioed â'r moddion y mae efe yn eich cyfarwyddo atynt, y bydd yn hawdd eich gwella. A ellid credu eich bod yn dyweyd y gwir pe mynegech eich bod o'r un farn a'r meddyg, tra yn gwrthod dilyn ei gyfarwyddiadau? Oni byddech yn peri i ni gredu eich bod, os yn coelio'r meddyg, wedi blino ar eich einioes, ac yn dewis marw yn hytrach? Wele, pa mor ffol y byddai dynion yn eu gwneyd eu hunain pe byddent mewn achosion corfforol neu dymmorol yn gweithredu yn groes i'r hyn y maent yn proffesu ei gredu. Ac eto fel hyn yr ydym yn eu cael yn ymddwyn bob dydd gyda golwg ar fater pwysig yr enaid anfarwol!—*John Howe.*

### RHAGLUNIAETH YN GOFALU.

Yr oedd yr hynod glerigwr, John Berridge, cyfaill i George Whitfield a Daniel Rowlands, yn rhoddi yn fynych y cwbl a feddai ar y pryd i bobl dlodion neu brofedigaethus; ac ar un adeg, ar ol hir seini, yr oedd efe heb ddim arian, ac heb wybod pa le i edrych am gymhorth. Tra yn synfyfyrio pa beth i'w wneyd, dyna gnoc ar y drws; a phwy oedd yno ond y *postman* gyda llythyr, ar yr hwn yr oedd swllt i'w dalu! Nid oedd gan Mr. Berridge y swllt i'w roi; ac felly efe a ddywedodd wrth y llythyrgludydd am fyned â'r llythyr yn ol i'r swyddfa, gan nad oedd efe, meddai, am gadw dim yn ei dŷ y byddai heb dalu am dano. "Na," medd y *postman*, "rhaid i mi gael ei adael yma, ac mi a alwaf gyda chwi yfory." Pan agorodd Mr. Berridge y llythyr, efe a gafodd ynddo *bank-note* am ddeg punt ar hugain oddiwrth J. T., sef John Thornton, yr hwn yr oedd ei haelfrydedd cristionogol agos yn ddibaid a difesur. "Pwy ar ol hyn," ebe yr hen bregethwr, "a all ammeu neillduolrwydd a manylrwydd rhagluniaeth yr Hollalluog?"

### DARLLEN A MEDDWL.

Bydded genych yn wastad yn eich cyrhaedd lyfr gwerth ei ddarllen, y gallwch droi ato pan fyddo genych fynyd o hamdden. Penderfynwch ddarllen rhywfaint o linellau o lyfr da bob dydd, pe na byddai ond un frawddeg. Os gellwch roddi pymtheng mynyd bob dydd at hyn, chwi a'i cewch yn troi yn elw mawr erbyn diwedd blwyddyn. Nid yw eisio meddyliau yn eich pen yn un baich. Wrth lafurio neu deithio, chwi a gewch feddyliau da yn gynnorthwyon cyfleus ac anmhrisiadwy.—*T. L. H.*

### CREDU MEWN ETHOLEDIGAETH.

Y mae hanes am ddyn du yn America, yr hwn, wedi credu yn yr efengyl, a ddaeth yn bregethwr ymhlith ei frodyr, fod ei feistr yn ei anerch fel y canlyn, "Ac yr wyf yn deall dy fod wedi myned yn bregethwr, Sam, a'th fod yn credu mewn etholedigaeth." "Wel, ydwyf, syr; yr wyf yn credu fod etholedigaeth yn wirionedd a hysbysir yn ngair Duw." "Ac y mae yn debyg dy fod di yn un o'r etholedigion, Sam, yn ol dy farn." "Wel, syr, mi ddymunwn fod yn ddiwyd i wneuthur fy ngalwedigaeth a'm hetholedigaeth yn sicr." "Ond y mae yn debyg," ebe'r meistr, "nad wyt ti ddim yn meddwl fy mod i yn un o'r etholedigion." Yr oedd Sam yn gwybod yn dda fod ei feistr yn caru'r byd presennol yn ei gyfoeth ac yn ei bleserau, a'i ateb synwyrlawn oedd, "Wel, massa, nid wyf yn sicr ynghylch hyny; ond hyn a wn,—ni welais i erioed etholiad lle nad oedd yr un ymgeisydd."

### Y GWEINIDOG A'R ORWEDDFAINC.

Y *Cyfaill* am fis Medi a adrodda am weinidog Presbyteraidd, o'r enw Hopkins, mewn pentref o'r enw Hempstead, yn myned i ystorfa dodrefn yno, ac yn gofyn pris gorwedd'ainc *(sofa)*. Perchenog yr ystorfa a ddywedodd wrtho mewn difyrwch, y rhoddai efe un iddo am ddim os gwnai efe ei hunan ei chario hi adref. Cymerodd Mr. Hopkins ŵr yr ystorfa ar ei air; a dyma efe yn ddiseremoni yn codi'r soffa i fyny, ac yn ei chludo ymaith ar ei ysgwyddau, er mawr syndod i'r gwerthwr dodrefn, gyda chryn dipyn o chwithdod iddo hefyd, dybygem. Llongyfarchid y gweinidog â banllefau tra ar ei ffordd adref dan ei lwyth.

### PLUEN YN Y CAP.

Ymysg yr hen ryfelwyr yr oedd yn beth arferedig fod y cadfridog, a swyddogion eraill, yn anrhydeddu y cyfryw o'u milwyr ag oedd wedi enwogi eu hunain mewn brwydr, trwy eu hanrhegu â phluen harddwych, i'w gwisgo yn eu capiau ar eu penau. Nid oedd neb, meddir, yn cael y fraint hono heb ei fod o leiaf wedi lladd un dyn. Oddiwrth yr arfer yma y cododd y dywediad am rywun a wnaeth weithred gwerth ei chanmawl, y byddai hyny "yn bluen yn ei gap."

### OEDRAN ANIFEILIAID.

Y mae ci yn byw oddeutu 20 mlynedd, cath oddeutu 15 mlynedd, dafad 10 mlynedd, a buwch 15 mlynedd. Gwelwyd mochyn yn byw 30 mlynedd, a cheffyl 62 mlynedd; ond yn gyffredin hyd oes ceffyl yw o 25 i 30 mlynedd.—*Sylwedydd.*

GWOBRWYAD SALW.

YR oedd Ysgotyn yn deisyf pum' swllt gan weinidog; ac, fel ad-daliad am y ffafr, dywedodd, "Mi rôf finnau i chwithau rywbryd ddiwrnod o wrando." Syniad gan lawer yn ddiau ydyw eu bod wrth wrando ar weinidog yn estyn ffafr iddo. Gofynodd dyn i mi unwaith roddi iddo fenthyg penadur *(sovereign)*; ac fel dadl dros ei gais hysbysodd fi ei fod er ys amser yn arfer dilyn fy ngweinidogaeth. Fe allai fod y dyn yn haeddol iawn o *sovereign* am iddo wneyd hyny; ar yr un pryd, camgymeriad, a hwnw yn gamgymeriad poblogaidd, yw tybio mai'r gweinidog yw'r blaid sydd yn derbyn ffafr. Mae efe yn rhoddi i'w wrandäwyr ei feddyliau addfetaf, ei alluoedd rhagoraf o bob math; a gresyn gan hyny yw dangos iddo ddiolchgarwch trwy fenthyca arian ganddo. —*Dr. Parker.*

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## ANGHEN PRESENNOL EIN CENADAETH.

YR ydys wedi galw sylw amryw weithiau yn ddiweddar at yr anghen am ychwanegiadau yn y casgliadau tuag at i'r gwaith ar ein meusydd cenadol gael ei ddwyn ymlaen yn effeithiol. Bu adeg pan oedd y casgliadau blynyddol, er nad oeddynt agos gymaint ag y maent wedi bod yn ddiweddar, yn fwy na digon i gyfarfod y treuliadau, ond y mae yr ychwanegiad at nifer y cenadon a'r cynnydd ar y gwaith yn y blynyddoedd diweddaf wedi ychwanegu yn fawr at y treuliadau. Er fod y derbyniadau y flwyddyn ddiweddaf yn llawer mwy nag y buont mewn unrhyw flwyddyn o'r blaen, ni buasent yn ddigon i gyfarfod â'r costau ond fel yr oedd y Cyfeisteddfod wedi tynu i lawr yr amcan-gyfrif a anfonwyd gan y cenadon o draul y gwaith, ac wedi gwrthod cydsynio â'r ceisiadau a wneid gan y cenadon am ganiatâd i agor achosion newyddion. Mae y cenadon yn parhâu i gyfeirio at ranau o'r wlad lle y mae y drysau yn agoryd i addysg ac i'r efengyl, ac y maent yn erfyn am ganiatâd i gymeryd mantais ar y cyfleusderau sydd yn ymgynnyg. Mae hefyd amryw bregethwyr ieuainc,—rhai o honynt wedi gorphen eu cwrs o addysg athrofäol,—yn awyddus i fyned allan i'r maes cenadol; ond nid yw y Cyfeisteddfod, tra yn llawen fod hyn yn mryd cynifer o'n gwŷr ieuainc, yn teimlo y byddai yn ddoeth derbyn eu ceisiadau tra y mae y treuliadau eisoes yn uwch na chyfraniadau yr eglwysi. Bydd beichiau eraill yn disgyn ar y Gymdeithas yn fuan, gan y bydd yn gwbl angenrheidiol codi tai newyddion i'r cenadon ar rai o'r gorsafoedd.

A gawn ni erfyn yn daer ar i sefyllfa ein Cenadaeth gael ei gosod ger bron pob cynnulleidfa? ac ar i'n swyddogion eglwysig arfer moddion i ddwyn yr achos o flaen sylw personol ein haelodau fel ag i gael tanysgrifwyr newyddion, yn gystal a chasgliad cyffredinol ymhob lle.

---

## Llydaw.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. W. JENKYN JONES, DYDDIEDIG ROSPORDEN, HYDREF 21AIN, 1882.

DAETH eich llythyr caredig i law yn brydlawn, a dylaswn fod wedi ei ateb yn gynt. Yr wyf wedi gwneyd cynnydd lled foddhäol mewn ymryddhâu o'r aceniad Seisonig wrth siarad y Ffrancaeg, er, wrth gwrs, fod eto rai geiriau wrth y rhai y gallai Ffrancwr yn hawdd wybod mai tramorwr wyf.

Yr oeddwn wedi meddwl myned i aros yn Banalec am ddau fis neu dri, ond methais a chael lle cyfleus i lettŷa, heb fyned i'r gwesttŷ; a chan mai un lled fychan ydyw, prin y gallaswn gael hamdden yno i fyned ymlaen gyda'm hefrydiau. Llwyddais, pa fodd bynag, i ddyfod o hyd i ystafell y gellir ei chael yn mis Rhagfyr. Yn y cyfamser, bydd i mi wneyd fy nghartref yn Rosporden, yr hon yw yr orsaf agosaf i Banalec, a lle na siaredir braidd ddim ond y Llydawaeg. Yr wyf ar hyn o bryd ar daith gyda Mr. Groignec yn gwerthu llyfrau, a bydd i ni, mae yn debyg, ymweled â Concarneau cyn diwedd yr wythnos nesaf. Yr ydym eisoes wedi ymweled â phentref Rosporden, ac wedi dyfod o hyd i amryw sydd yn ffafriol i'r gwaith y mae ein bryd arno. Credaf mai da fydd i mi ranu fy arosiad yn y rhanau hyn rhwng y ddau le, gan y caf felly gylch mwy ëang o gydnabyddiaeth; yr hyn, mi a obeithiaf, fydd yn fanteisiol i mi gyda golwg ar fy ngwaith yn y dyfodol. Ysgrifenaf atoch yn gyflawn ynghylch y gwaith yn Lorient a'r cyfarfodydd dyddorol a gynnelir yn Kerentrech, lle y mae, yn ddiau, waith mawr yn myned ymlaen; llenwir yr ystafell yno hanner awr cyn yr amser, ac y mae rhai ugeiniau bob nos yn analluog i ddyfod i mewn. Yr wyf yn argyhoeddedig fod Ysbryd Duw wedi dechreu gweithio yno, ac y mae eisoes rai personau wedi dechreu dyfod i'r capel yn Lorient, y rhai a ddechreuasant

deimlo dylanwad yr efengyl yn y cyfarfodydd yn Kerentrech. Gwaith ydyw a ddylai gael ein cydymdeimlad dyfnaf, ac yr wyf fi wedi cael fy nghalonogi yn fawr gan yr hyn a welais yno. Mae genyf obeithion cryfach nag erioed y ceir gweled cynhauaf toreithiog yn Llydaw. Pared yr Arglwydd i'n gobaith a'n ffydd fod yn ddigon dwfn, fel na byddo siomedigaeth yn bosibl! Byddwn, y mae yn debyg, yn gorphen y daith hon tua diwedd yr wythnos nesaf. Mae Groignec yn ymuno mewn anfon anerchiadau carnaidd. Da genyf eich hysbysu iddo gyfarch cyfarfod yn Kerentrech bythefnos yn ol, am y waith gyntaf, a'i fod yn astudio er mwyn gallu gwneyd felly yn y dyfodol. Yr oeddwn wedi bod yn ymddyddan âg ef ar y mater cyn dyfod trosodd i Gymru.

---

## Bryniau Jaintia.

Llythyr oddiwrth y Parch. J. Jones, dyddiedig Jiwai, Awst 31, 1882.

Diwedd y mis diweddaf bum yn aros yn Nongbah dros y Sabboth. Y mae yn ddrwg genyf ddyweyd nad yw yr achos yn cynnyddu yno. I bob ymddangosiad, yn ol y mae yn myned, yn hytrach nag ymlaen. Daeth cynnulleidfa o tua 30 at eu gilydd y Sabboth hwnw, ond fel rheol tua 15 sydd yno. Nid yw yr Ysgol ddyddiol ychwaith mor lewyrchus ag y bu. Y rheswm a roddir am hyny yw, fod amryw o'r llanciau a fyddent yn arfer dyfod wedi myned i Cherra i gario tatws. Gobeithio y bydd i bethau wella yn fuan.

Bore dydd Llun aethum i Mawkhla, ac arosais yno hyd dranoeth. Y mae golwg lled fywiog ar yr ysgol yn y pentref hwn, er nad yw yn lliosog. Y mae yr ysgolheigion wedi codi o 10 i 15, ac y maent hefyd wedi gwneyd cryn lawer o gynnydd mewn darllen a deall y Testament Newydd, heblaw mewn ysgrifenu a rhifyddu. Byddwn yn llwyddo i gael cynnulleidfa o tua 15 yno bob Sabboth, ac y mae un oddiyno wedi ei dderbyn i eglwys Jiwai. Bu yma gryn lawer o afiechyd yn ystod y mis hwn, ac yn wir y mae yn parhâu i raddau eto. Bu farw dau o blant yr eglwys hon o'r *bronchitis*—un bachgen ac un eneth, y ddau tua phedair oed. Gwnaethom ein goreu iddynt, ond ewyllys yr Arglwydd oedd eu cymeryd ato ei hun. Bore y diwrnod y bu yr eneth fach farw, pan yr oedd ei mam ar roddi bwyd yn ei safn bach, dywedai, "Mam, nis gallaf fwyta heb i chwi weddïo yn gyntaf;" ac wedi i'w mham ofyn bendith ar y bwyd bwytäodd ychydig. Diau fod yn nyweddiad y ferch fach hon wers i lawer yn Nghymru yn gystal ag yma, i beidio bwyta heb weddïo yn gyntaf.

Bu farw un o'r aelodau yn eglwys Nongtalang hefyd. Yr oedd yn ddyn da a ffyddlawn, a chanddo gryn lawer o zel dros achos Duw. Gweinyddwyd yn ei gladdedigaeth gan U Iang yr efengylydd, yr hwn oedd yno ar y pryd. Daeth y rhan fwyaf o'r pentrefwyr i'r claddedigaeth; ac fe gafodd gyfle rhagorol i bregethu iddynt.

Bydd yn dda genych glywed fod pedwar wedi eu derbyn y mis hwn i eglwys Nyrtiang, sef gŵr a'i wraig, a mam a'i merch.

---

## Bryniau Khasia.

### DOSBARTH KHADSAWPHRA.

Llythyr oddiwrth y Parch. Griffith Hughes, dyddiedig Nongrymai, Medi 18fed, 1882.

Y mae yn ddrwg genyf ddyweyd fod y tymmor hwn yn un hynod o afiach yn y rhanbarth hwn. Ni welais er pan wyf ar y Bryniau gynifer yn afiach ar yr un pryd. Y mae y fath nifer yn y pentref hwn a'r pentrefi oddiamgylch yn dyoddef o dan y rhyddni, y cryd, ac amrywiol afiechyd y frest. Anfonwyd nifer mawr o'r rhai hyn i Mawphlang at Dr. Griffiths, ond nid oeddynt ond ychydig o'u cymharu â'r nifer sydd wedi ac yn bod yn wael. Y mae yr Arglwydd wedi bod yn drugarog iawn wrthym, ac wedi ein harbed ni y Cristionogion. Ni bu farw ond dau faban, er i lawer fod yn glaf iawn; ond bu cryn nifer o'r Paganiaid farw. Yr oeddym yn aml iawn yn gweled o ddrws y tŷ dân yn y lleoedd llosgi perthynol i'r pentrefi oddiamgylch. Ni bum yn teimlo mwy erioed wrth weled trueni y bobl hyn mewn afiechyd—carpiau drostynt, dim ond *mat* odditanynt ar y llawr pridd y rhan amlaf, —dim bwyd, a dim i'w yfed ond dwfr oddiar reis, a neb yn gallu gofalu am danynt—dim ond eistedd o amgylch y tân i edrych ar y claf. Hyd yn nôd ymhlith y Cristionogion nis gallent wneyd dim i'r plant. Os byddai anghen, yr hyn a ddygwyddai yn aml, fod eisieu rhoddi plentyn mewn *bath* poeth, yr oedd yn rhaid i Mrs. Hughes fyned yno i wneyd ei hunan; nis gallai y fam wneyd dim. Mewn achosion lle nad oes ond un o deulu yn Gristion, fel yn Mawblei, y mae eu sefyllfa yn wir druenus—dim gofal am danynt, a'u perthynasau yn eu poenydio yn wastadol eisieu iddynt offrymu i'r duwiau Khasiaidd. Tua thair wythnos yn ol daeth un o Mawblei i ddyweyd fod dyn ieuanc o Gristion yn glaf iawn, ac na wyddai a fyddai yn fyw erbyn y dychwelai. Aethum yno ar un-

waith, a chefais ef mewn lle cul rhwng y tŷ a'r fargod, lle y byddent yn rhoddi yr ieir, a dim ond carpiau drosto. Yr oedd ei fam yn glaf yn y tŷ, a'r torwr wyau yn y buarth yn tori wyau drosti. Can gynted ag yr aethum yno, casglodd ei daelau ynghyd ac aeth ymaith. Gwelais fod y dyn ieuanc mewn sefyllfa ddrwg iawn. Rhoddais feddyginiaeth iddo, a chefais rai o'r cyfeillion i'w gario yma i Nongrymai drannoeth. Bendithiodd Duw y moddion, ac y mae yn awr wedi dychwelyd i'w bentref wedi gwella. Y mae amryw o'r Paganiaid sydd wedi derbyn meddyginiaeth yn addaw gadael eu hofergoelion, a dyfod i wrando. Ond y mae profiad wedi ein dysgu i beidio rhoddi hyder mawr ar hyny. Gellir gofyn yn aml, "Oni lanhäwyd y deg, ond pa le y mae y naw?" Eto rhaid gweithio trwy ffydd,—y mae aml i Samariad yn dychwelyd i ddiolch i Dduw. Y mae y rhan fwyaf o Gristionogion Khasia wedi cael eu tueddu at grefydd Mab Duw trwy dderbyn bendithion i'w cyrff ar y cyntaf.

Diolch i chwi am anfon i ni lythyr y Gymanfa Gyffredinol at eglwysi Khasia. Y Sabboth cyntaf ar ol ei dderbyn, daeth cynnulleidfa ac eglwys Nongthymai i gydaddoli â'r cyfeillion yma. Darllenais y llythyr iddynt, a gwnaeth y ddwy eglwys addewid ddifrifol, trwy godi oll ar eu traed, yr ymdrechent, hyd y gallent, wneuthur y cynghorion a roddwyd iddynt gan y Gymanfa; a dymunasant arnaf gyflwyno eu diolchgarwch i eglwysi Cymru am y llythyr, ac am eu gofal gwastadol am danynt.

---

## CYMDEITHAS GENADOL LLUNDAIN.

Yr ydym yn gweled, wrth adroddiad y Gymdeithas ragorol hon, fod cyfanswm y derbyniadau y flwyddyn ddiweddaf, a chyfrif tanysgrifiadau, casgliadau, cymunroddion, llogau ar arian sydd allan, cyfraniadau ar y gorsafoedd Cenadol, &c., &c., yn £111,487. Cyrhaedda cyfraniadau eglwysi Cymru ac eglwysi Cymreig yn Lloegr y swm o £3,327 10s. 6c. Yr oedd cyfanswm Offrwm y Plant yn £746 5s. 9c.; mae hyny yn £166 19s. yn FWY na'r llynedd. Mae yn ddrwg genym ddyweyd ei fod dros dri chant o bunnoedd yn fwy nag a gasglwyd gan blant y Methodistiaid tuag at ein Cenadaeth Dramor y flwyddyn ddiweddaf. Ond nid ar y plant y mae y bai hwn. Pe buasai plant pob eglwys wedi gwneyd fel y gwnaeth plant rhai eglwysi, buasai yn hawdd i'r swm fod yn ddeg gwaith cymaint. Bydd yn hawdd i'r cyfeillion fyddont yn dewis annog y plant i gasglu, gael tocynau ond anfon am danynt.

Da genym weled na bu ond un o Genadon y Gymdeithas farw yn ystod y flwyddyn, er fod yn ofidus genym sylwi mai Cymro ydoedd hwnw, sef y Parch. D. Williams, Cenadwr "galluog ac ymroddgar. Aeth efe i Urambo, Affrica, yn Ebrill, 1880, ac er pan laniodd yn y wlad, yr oedd agos yn barhâus dan ddylanwad twymynau, ac ar y 24ain o Fai bu farw trwy gael ei daro â *sunstroke*. Yr oedd yn feddiannol ar gorff cadarn a meddwl bywiog, ond cymerwyd ef ymaith cyn cael amser i ddysgu yr iaith, na chyflawni ond ychydig iawn o'r gwaith yr aeth allan o'i blegid. Yn ychwanegol at hyn, mae y Gymdeithas wedi colli gwasanaeth chwech eraill, oblegid eu bod, o herwydd gwahanol resymau, wedi ymneillduo oddiwrth y gwaith. Ychwanegwyd un ar ddeg at nifer y llafurwyr, ac o'r cyfryw mae pump wedi myned i India, tri i Madagascar, un i New Guinea, un i China, ac un i Affrica. Cyfanswm rhifedi y Cenadon sydd yn awr yn llafurio mewn cysylltiad â'r Gymdeithas yw 156, ac y mae pedair ar ddeg o'r cyfryw yn foneddigesau. Mae daioni grasol Duw wedi nodweddu yr holl waith. Cyfarfyddwyd â rhai siomedigaethau, ond dim i ddigaloni."

---

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| J. ac E. Thomas, Lampeter | 2 | 0 | 0 |
| Liverpool, Casgliad Walton Park | 1 | 9 | 2 |
| Eto eto Garston | 7 | 12 | 7 |
| M. Roberts, 11 Deganwy Street, Llandudno, i'w defnyddio, gan y Parch. J. Jones, Jiwai, fel y gwelo yn oreu | 0 | 15 | 0 |
| Brynhyfryd, Rhymney, Casgliad | 3 | 0 | 0 |
| Heol Fach, Treherbert, eto | 0 | 10 | 0 |

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 626.] RHAGFYR, 1882. [LLYFR LII.

## GOLEUNI YN LLEWYRCHU.

GAN MR. WILLIAM HOWELL, PENCOED, GORLLEWIN MORGANWG.

YMDDENGYS fod natur i'r Arglwydd Iesu, nid yn unig yn llawn o swyn, ond yn ddadguddiad llawer mwy iddo ef nag ydyw i ni. Yr ydym ni yn gallu edrych ar brydferthwch y gwanwyn, a syllu ar ddysgleirdeb y ser ac ardderchogrwydd y nefoedd, heb ganfod "ôl bysedd Duw;" ond nid diffyg natur ydyw hyn, fel y dywedodd y bardd enwog Islwyn,

"Nid natur sydd yn fud.
Ond nyni sydd yn fyddar."

I'r Gwaredwr yr oedd yn ddadguddiad mawr; canfyddai efe egwyddorion a gwirioneddau ysbrydol yn ymwthio i'r golwg yn a thrwy y cwbl. Cysgod ydoedd anian i'r Gwaredwr o'r byd, ac o'r sylweddau ysbrydol a ddadguddir yn y Bibl; ac am y rheswm hwn gwna ddefnydd helaeth o natur yn ei bregethau a'i ddammegion, i ddangos sylweddau mwy ac uwch drwyddynt.

Yn ei bregeth ar Fynydd y Gwynfydau, un o'r ffigyrau a ddefnyddia i osod allan grefydd a dylanwad bywyd sanctaidd ydyw goleuni. "Chwi," meddai, "yw goleuni y byd;" ac mewn adnod arall, "Llewyrched eich goleuni ger bron dynion." Canfyddwn briodoldeb y gymhariaeth, pan yr ystyrir fod goleuni a chrefydd yn debyg mewn llawer ystyr. Nis gall goleuni fod heb oleuo, na chrefydd heb lewyrchu ger bron dynion. Pa bryd y dangosodd yr haul ei wyneb heb oleuo? ac ymha galon y gwelwyd crefydd bur heb ei bod yn "llawn o ffrwythau da?" Y mae yn natur pob bywyd ddadguddio ei hun; nis gall ymguddio. Aroser ychydig fisoedd eto, ac ni bydd anghen dwyn rhesymau i brofi fod bywyd yn perthyn i natur; oblegid deffry yn adnewyddol o'i chwsg gauafol gan hyfryd lais y gwanwyn. Y mae hyn yn wirionedd hefyd am yr egwyddor o fywyd ysbrydol sydd yn nghalon y cristion. Dadguddia hwn ei hun mewn gweithredoedd o lafur a ffyddlondeb dros Dduw ac i ddyn.

Un o ddybenion mawr bodolaeth y goleuni ydyw bod yn gyfrwng bendith i eraill. Gall yr haul naturiol ddyweyd fel y dywedodd Haul mawr y Cyfiawnder, "Ni ddaethum i'm gwasanaethu ond i wasanaethu." Bod i wasanaethu y mae'r haul, i brydferthu y blodau, ac addfedu ffrwythau y cynauaf, a hyny nid er ei fwyn ei hun, ond er mwyn eraill. Ymddengys mai un o egwyddorion mawrion llywodraeth Duw ydyw fod y cwbl i gyfranu ac i wasanaethu ar eraill. Mae yr egwyddor o hunanaberthiad i fod yn egwyddor lywodraethol pob bywyd o'r isaf hyd yr uchaf. Y peth uchaf yn llywodraeth Duw ydyw gwasanaethu. Bywyd o wasanaethu ydyw bywyd yr angel, fel ein dysgir gan y Bibl: "Onid ysbrydion gwasanaethgar ydynt hwy oll, wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth?" A dywed un awdwr mai arddangosiad o fywyd Duw ei hun ydoedd bywyd a marwolaeth Crist. "Un o'r gwirioneddau mwyaf dwfn i mi o bob gwirionedd ydyw," medd efe, "mai bywyd o aberthu hunan (*the sacrifice of self*) ydyw holl fywyd Duw. Cariad yw Duw, ac un o egwyddorion hanfodol cariad ydyw aberthu ei hun; ac os nad bywyd felly ydyw bywyd Duw, nid cywir dyweyd mai cariad yw

Duw; oblegid y mae'r peth hwnw yn y natur ddynol sydd yn ceisio pob peth ac heb gyfranu dim, yn cael ei adwaen wrth enw gwahanol i'r eiddo cariad. 'Duw cariad yw;' ac nid oedd marwolaeth Crist yn ddim ond arddangosiad am unwaith mewn amser o'r hyn ydoedd deddf dragywyddol Duw ei hun." Pwy sydd yn cyfranu cymaint, a pha fywyd sydd yn llewyrchu fel ei fywyd ef?

"Diwalla bob peth byw
O hyd â'i wyllys da."

Bywyd Duw, a bywyd y groes, ydyw crefydd; yr egwyddor o fywyd ysbrydol sydd yn nghalon y dyn duwiol. Eglur, ynte, ydyw fod ei grefydd i lewyrchu fel y goleuni, trwy ei fod yn gyfrwng bendith i eraill. Dengys y Bibl fod bywyd cristion i fod yn barhâd o fywyd Crist ar y ddaear—ei fod i lewyrchu allan yr un egwyddorion. Ond os ydym yn "sefyll ar hyd y dydd yn segur," gan foddloni edrych yn ddifraw ar y byd, heb wneyd ymdrech i'w buro a'i ddwyn at Dduw, y mae un o'r gwersi pwysicaf ag y mae croes Crist wedi ei bwriadu i'w dysgu i ni, heb ei dysgu genym eto, sef byw a llewyrchu er mwyn eraill. Yn ei bregeth ar y mynydd, dangosir fod crefydd i fod yn oleuni, ac yn halen—i oleuo ac i buro. Nid aur yn y wythïen ydyw, ond aur mewn cylchrediad, ac at wasanaeth y byd i'w gyfoethogi. O mor dueddol ydym i anghofio, mai un o ddybenion mawr ein galwedigaeth fel cristionogion ydyw llewyrchu a gwneyd daioni — bod yn gyfryngau i drosglwyddo goleuni, ac yn ddylanwad a fydd yn puro!

Gellid meddwl fod llawer aelod yn ein heglwysi fel pe yn gwneyd ei oreu i guddio ei oleuni, gan wneuthur rhyw fynach Protestanaidd o hono ei hun. Nid ydyw'r byd na'r eglwys ddim gwell o hono; myned i'r nefoedd ei hunan ydyw ei unig amcan. Ond y mae yn ammheus a lwydda efe; y ffordd sicraf i fyned yno ein hunain ydyw drwy wneyd ymdrech i fyned âg eraill gyda ni. Troi o'i gwmpas ei hun, a byw iddo ei hun, y mae llawer un sydd yn proffesu bod yn dilyn yr Hwn oedd yn "llawn gras a gwirionedd." Ofnwn fod yr un peth yn wir am eglwys Dduw yn awr ag oedd am y dysgyblion ar Fôr Tiberias: pysgota ar y glânau, ac nid gwthio i'r dwfn; a'r canlyniad yw methu dal ond ychydig. Neu, mewn geiriau eraill, mae yr eglwys wedi myned i droi o'i chwmpas ei hun, yn lle myned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, gan wasgar ei goleuni llachar yn nerth a dylanwad Cristionogaeth. Dylem gofio mai fel yr oedd gyda Phedr ar Fôr Galilea y mae gyda ninnau. Ni ddaw'r pysgod at y pysgotwr; ac ni ddaw'r byd at yr eglwys. Y mae'n rhaid i'r eglwys fyned at y byd, drwy fod ei goleuni yn llewyrchu ger bron dynion.

Gellir nodi hefyd mai goleuni ydyw un o'r elfenau mwyaf ei nerth a'i ddylanwad yn y byd naturiol. Felly y mae am grefydd yn y byd moesol: dyma'r gallu sydd i "orchfygu y byd, sef ein ffydd ni." Ychydig sydd yn gwybod beth ydyw nerth a dylanwad goleuni. I'r dyn nad yw'n gwybod dim am natur a'i deddfau, y mae y ddaeargryn iddo ef yn allu llawer mwy nerthol ac effeithiol. Gwrandawer ar y ddaeargryn fel y mae yn ysgwyd sylfeini'r ddaear. Y mae gorchestion dyn, —y dinasoedd mawrion, y colgolofnau gorwych, a'r temlau ardderchog, mewn moment yn bentwr o adfeilion, neu ynte llenwir hwy gan ryw gagendor agored o dân. Y mae'r ddaeargryn yn nerthol, gwir; ond y mae'r goleuni sydd yn anfon ei belydrau allan yn ddystaw, gan ein lloni bob bore, yn allu llawer mwy. Dychymyger fod y goleuni yn peidio dychwelyd byth,—y bore yn dyfod, ond dim gwawr gydag ef! Beth a fyddai'r canlyniad? Llenwid yr awyr â lleisiau wedi eu dychrynu—gwylltiai yr anifeiliaid, yr adar, a phob bwystfil o'r coed—gwelwai y llysiau a byddent feirw—elai y nos yn oerach, oerach, nes rhewi gwaed pob creadur, a rhewi calon y ddaear, a chalon y môr, ac hyd yn nôd y ddaeargryn ei hun yn ei chelloedd o dân—ac elai y planedau yn gylchau o ia. Y fath allu a dylanwad, ynte, a berthyn i'r goleuni! Pethau dystaw ydyw pethau mawr natur; gweithio a dylanwadu yn ddystaw y mae ei deddfau mawrion. Y mae'r fellten yn rhwygo'r cymylau nes dystewi yr adar yn eu cân, a pheri i frenin y goedwig gilio mewn braw i'w ffau: ond y mae'r ddeddf sydd yn cadw y greadigaeth wrth ei gilydd yn gweithio yn ddystaw. Un dystaw ydyw'r goleuni; nid ydyw'n deffro'r

baban yn ei gryd, eto y mae bob bore yn adnewyddu'r byd, ac yn ei gadw rhag myned yn ysglyfaeth i nos dragywyddol. Ceisiwn fel hyn feddwl yr hyn a gynnwysa yr ymadrodd "Chwi yw goleuni'r byd." Os ydyw goleuni y fath allu a dylanwad yn y byd naturiol, beth ydyw crefydd yn y byd moesol? Byd mawr y Bibl ydyw'r byd moesol, a'r gallu mwyaf ynddo heddyw ydyw bywyd Crist yn nghalon y cristion, a'r bywyd hwn yn llewyrchu ger bron dynion.

Y mae dau fath o ddylanwad yn perthyn i ddyn, sef y dylanwad a berthyn i'w weithredoedd, yr hyn a wna yn wirfoddol, a'r dylanwad a berthyn i'w fywyd a'i gymeriad. Ac o'r ddau, yr olaf ydyw y cryfaf a'r mwyaf effeithiol i argyhoeddi'r byd o wirionedd crefydd. Gwir mai ychydig o sylw y mae'r dylanwad hwn yn ei gael genym, sef y dylanwad sydd yn myned allan oddiwrthym, a hyny heb yn wybod i ni. Ychydig o le y mae hanesiaeth a bywgraffiaeth yn ei roddi iddo. Dywedant wrthym pa fodd y gwnaeth dynion arwain byddinoedd i sefydlu ymherodraethau, a ffurfio deddfau; ond ni wneir sôn am y dylanwad dystaw ond nerthol oedd yn myned allan yn ddyddiol oddiwrthynt. Fel y mae'r anwybodus o wyddoniaeth natur yn rhoddi mwy o sylw, ac yn cysylltu mwy o ddylanwad, â'r fellten nag â deddfau nerthol ond dystaw anian, yn gyffelyb mae'r byd yn rhoddi mwy o sylw, ac yn cysylltu mwy o ddylanwad â mawredd a gweithredoedd allanol bywyd, nag â'r dylanwad anwrthwynebol hwnw sydd yn myned allan oddiwrthym heb ofyn ein caniatâd. Hwn ydyw'r dylanwad pwysicaf a grymusaf, a hwn yn mywyd cristion sydd i orchfygu'r byd. Er yn ddystaw, eto, fel y goleuni, y mae yn nerthol iawn. Pwy a fedr ei attal, a nodi allan derfynau ei ddylanwad? Nid yn nghynhyrfiadau allanol a gweledig natur y gorwedd ei gallu. Na, y tu cefn, ac o'r golwg, y mae ei nerthoedd hi. Felly am fywyd y cristion: nid dylanwad geiriau a gweithredoedd ydyw'r elfen fawr sydd i argyhoeddi'r byd, ond dylanwad bywyd a chymeriad ag y bydd Duw yn llewyrchu drwyddynt. Y mae hanesyddiaeth yn cynnwys profion digonol o wirionedd hyn. Beth am Paul, Martin Luther, a John Knox? A chan allan Ysbryd Duw, ymha le yr oedd dirgelwch llwyddiant gweinidogaeth Paul? Cynnysgaethwyd ef â mwy o wir fawredd na'r mwyafrif o ddynion enwocaf y byd; ac ni bu yn ol o roddi pob gallu mewn ymarferiad. Ond y mae yn amlwg mai nerth ysbrydol ei fywyd a'i gymeriad ydoedd dirgelwch nerth a dylanwad ei weinidogaeth. Wele y pregethwr a'r pregethau yn pregethu yr un peth. Yr hyn ydoedd Paul, ac nid yr hyn a wnaeth, ydoedd prif elfen ei ddylanwad a'i lwyddiant. Hyn oedd yn rhoddi effeithiolrwydd yn y cwbl a wnai dros ei Dduw; ac, fel y dywed un am dano, argyhoedda, arweinia, ac ysbrydola'r byd eto drwy yr awdurdod a'r dylanwad hanner-Dwyfol a berthyn i'w fywyd.

Ond os esgynwn yn uwch, cawn brawf cryfach fyth o hyn yn "y dyn Crist Iesu." Eglur ydyw mai prydferthwch ei gymeriad ydoedd yn rhoddi y fath ddylanwad i'w eiriau. Y dylanwad hwn a wnaeth i'r milwyr Rhufeinig, ar y nos y bradychwyd ef, "syrthio yn wysg eu cefnau," ac i'r hen raglaw waeddi allan yn y Pretorium, "Nid wyf yn cael dim bai yn y dyn hwn." Yr oedd ei wyrthiau yn wasanaethgar, megys y dywed John Foster, fel clôch i alw sylw dynion; ac y mae ei ddysgeidiaeth yn wasanaethgar i'r byd heddyw fel y dadguddiad perffeithiaf o wirionedd mewn geiriau. Ond wedi'r cwbl, gwirionedd mwyaf yr efengyl ydyw Crist ei hun: dyn—yr Ail Ddyn—yn byw a llewyrchu holl berffeithiau Duw ger bron dynion. Cymeriad pur a bywyd hunan-aberthol y Gwaredwr ydyw gwirionedd mwyaf Cristionogaeth; a dylanwad yr un bywyd yn cael ei weithio allan yn ymarweddiad y credadyn sydd i "orchfygu y byd."

Canfyddwn wrth hyn bwysigrwydd annogaeth yr Athraw mawr: "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion." Y mae gwir anghen yn bresennol am i'n crefydd lewyrchu llawer mwy. Creda llawer yn Nghrist fel rhyw ddelw brydferth, ac mewn Cristionogaeth fel chwedl dda; ond pe llewyrchai ein crefydd fwy, deuai'r byd i gredu yn Nghrist fel digymhar Berson byw, ac mewn Cristionogaeth fel sylwedd mawr gwybodaeth, rhinwedd, a dedwyddwch.

## GWELEDIGAETH YR YSGOL.

*Gan y Parch.* GRIFFITH OWEN, *Rhosddu, Wrexham.*

GENESIS xxviii. 12: "Ac efe a freuddwydiodd; ac wele ysgol yn sefyll ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd; ac wele angylion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyd-ddi."

NID oes yr un daioni y gellir ei wneyd, na'r un fantais y gellir ei chyrhaedd, a gyfreithlona foddion anonest i wneyd y naill nac i gyrhaedd y llall. Gormod sydd, ysywaeth, o weithredu yn unol â'r hen ddywediad a goffeir gan yr apostol, sef, "Gwnawn ddrwg fel y ddêl daioni." Ond drwg yw drwg beth bynag fyddo yr amgylchiadau dan ba rai y cyflawnir ef, a'r amcan a gyrhaeddir trwyddo; ac y mae yn anmhosibl gwneyd anghyfiawnder a chelwydd yn ddim amgen nag ydynt. "A newidia yr Ethiopiad ei groen, neu y llewpard ei frychni?" Gwnânt, cyn y gellir gwneyd anghyfiawnder yn onestrwydd, a chelwydd yn wirionedd. Nid oes unrhyw amgylchiadau na dybenion a gyfreithlonant foddion anonest neu a wnânt ddrwg yn dda, neu gelwydd yn wirionedd. Dywedir fod creadur bach o'r enw *cameleon*, a newidia ei liw i ganlyn gwrthddrychau y daw yn agos atynt. Ond nis gall anghyfiawnder newid ei gymeriad i ganlyn yr amgylchiadau a'r amcanion. Pa mor dda bynag fyddo yr amcan, nid yw yn newid dim ar anonestrwydd y moddion.

Ond er nad yw uniondeb yr amcan yn cyfreithloni dim ar dwyll y moddion a arferir, eto ceir ystyriaethau sydd yn lleddfu grym y bai. Cafodd Paul drugaredd am iddo yn *ddiarwybod* erlid eglwys Dduw. Yr un modd am Rebecca: yr oedd yr amcan yn onest, ond y moddion yn dwyllodrus. Nid yw yn anmhosibl i'r ystyriaeth o'r brophwydoliaeth a wyddai, sef y byddai i'r hynaf wasanaethu yr ieuengaf, ynghyd a gwaith Esau yn gwerthu yr enedigaeth-fraint, fod yn lleddfu rhyw gymaint ar y twyll a arferwyd i gael gafael ar y fendith. Credai hi nad allan o le oedd defnyddio y moddion a arferwyd er mwyn i eiriau Duw gael eu cyflawni. Y mae ei theimlad yn dyfod i'r golwg yn yr atebiad a ddyry i Jacob, pan y dywedai ef ei fod yn ofni tynu melldith ei dad am ei ben, ac nid ei fendith, trwy y dull yr annogid ef iddo ganddi hi. Atebai hi, "Arnaf fi y byddo dy felldith, fy mab;" am ei bod yn credu yn ddiau nad oedd y fath beth i fod, ond y byddai i'r amcan gyfreithloni y moddion. Pa fodd bynag, bu gorfod i Jacob ffoi; a hanes noswaith gyntaf ei ffôedigaeth a geir yn yr adnod uwch ben yr ysgrif, sef, gweled ysgol, &c. Edrycher ar weledigaeth yr ysgol yn

I. Y rheswm drosti. II. Y cynnwys o honi.

I. Y RHESWM DROS Y WELEDIGAETH.

Ymddengys yma ddau beth. — *Unigrwydd* ac *euogrwydd*.

1. *Unigrwydd*. Pan y bwriada Duw amlygu ei hun mewn modd arbenig, a chymhwyso dyn i waith neillduol, ei arfer ydyw dwyn y cyfryw un i neillduedd ac unigrwydd. Felly y gwnaed gyda Moses, pan y dygwyd ef o ganol gorwychder gwlad yr Aipht i anialwch Midian. Dyn ar ei ben ei hun oedd Elias y prophwyd. Yr un modd hefyd dan y Testament Newydd. Yn niffeithwch Judea y trigai Ioan Fedyddiwr, a bu Paul am dair blynedd yn Arabia.

Y mae yr unigrwydd y bu Jacob ynddo yn driphlyg: unigrwydd lle, unigrwydd amser, ac unigrwydd teimlad. Dyma drindod unigrwydd, ac yn un y maent yn cyttuno fel mantais a chymhwysder i Dduw ddadguddio ei hun.

Yn gyntaf, *Unigrwydd lle*. Nid y fantais ydyw fod Duw yn fwy mewn un lle na'r llall, ond fod y meddwl yn cael gwell hamdden i aros mewn myfyrdod ar Dduw a'i ddadguddiad yn yr unigrwydd dystaw nag yn y *crowd* a'r sŵn. Fel rheol, hoffi sŵn a wna dyn. Ac erbyn meddwl, hynod y dylanwad sydd gan sŵn. Y mae y seindorf sydd yn gorymdaith yr heolydd yn llawer mwy poblogaidd na seithwyr yn adrodd rheswm. Y farchnad ac nid y fynwent sydd yn tynu y lliaws; y dref, ac nid y mynydd hefyd. Ond y mae llawer mwy o Dduw yn y dystaw nag yn y trystiog. Nodwedd yn ngwaith dyn yw twrf, ond dystawrwydd yw yr eiddo Duw. Pan yn creu, gwnaed hyny yn hollol ddi-sŵn. Yr un modd wrth gynnal; pwy a'i clywodd Ef yn addurno y nefoedd â sêr neithiwyr, neu yn codi yr haul y bore heddyw? Nis gall dyn yru y gerbydres drwy gymydogaeth heb ddeffro pawb, na myned â'r cerbyd trwy yr heol heb alw sylw neillduol ato ei hun. Ond llywodraetha Duw fydoedd dirif yn hollol ddidwrf. Y mae llawer mwy o Dduw yn anthem undonog y môr nag sydd yn sŵn cynhyrfus y *station*. Yr oedd mwy o Dduw yn y llef ddystaw fain nag oedd yn y gwynt, y ddaeargryn, a'r tân. Yr un modd o hyd, os ydys am gael clywed Duw, rhaid ymneillduo i'r unigrwydd dystaw. "Dos i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddïa ar dy Dad." Yn yr ardd y cafodd Mair hyd i'r Iesu; a diau pe yr aethai i ganol poblogaeth brysur Jerusalem, na chawsai afael arno. Yn y maes, fin yr hwyr, yr arferai Isaac fyfyrio.

Yn ail, *Unigrwydd amser, sef y nos.* Nid rhyw lawer o wahaniaeth sydd rhwng

y naill a'r llall yn eu dylanwad ar y meddwl. Y mae unigrwydd lle yn fantais i beidio âg anhawsderau i ddal cymundeb â Duw, a thawelwch y nos ar y llaw arall yn fwy cymhelliadol i'r cymundeb; y naill yn fwy nacaol, a'r llall yn fwy cadarnhaol. Cymerai Crist fantais ar y ddau unigrwydd; elai i'r mynydd, a hyny yn y nos. Onid mîn yr hwyr, pan yr encilia yr anifail i'w orweddle, ac y peidia yr adar bach a'u cân; yr awel wynt yn chwareu yn dyner â dail y coed, a natur i gyd yn ymlonyddu i orphwys, a mantell bruddaidd y nos yn ymdaenu yn ddystaw er eu gorchuddio—onid, meddir, ar adeg fel hon y daw y meddwl i gyffyrddiad agosaf â'r Anweledig? Onid ar adeg fel hyn y murmurwyd y meddyliau mwyaf ysbrydol a Dwyfol wrthym? Y mae mewn unigrwydd duedd i yru dyn i eithafion mewn drwg a da; y mae yn agored un ai i fod yn Ddwyfol neu ddieflig, yn ol ansawdd ei feddwl. Mewn unigrwydd, wrth fyfyrio ar eu sefyllfa adfydus, y ceir fod dynion yn cyflawni hunanladdiadau. Ar y llaw arall, bron nad yw y duwiol yn teimlo y nefoedd yn ymyl, a'r Anfeidrol wrth law, yn yr unigrwydd dystaw. Diau fod i ysgol Jacob ystyr neillduol yn yr hanes hwn; yr un pryd cynnrychiola yr hyn sydd yn bod mewn gwirionedd yn hanes pob dyn duwiol; y mae yna undeb a chymundeb, sylweddoliad o'r hyn a arwyddlunid gan yr ysgol.

Y mae natur ei hunan hefyd yn fwy o gyfrwng cymundeb yn y nos nag yn y dydd. Gwas i ddyn ydyw natur yn y dydd, ond y mae yn fwy o blentyn Duw yn y nos. Yn y dydd, caethweision i ddyn yw y gwahanol bethau sydd ynddi, ond y mae yn fwy o leferydd Duw yn y nos. Gwir nad ydyw yn parablu yn gywir, ond eto nid yw y dyn ystyriol heb ei deall. Yr awel wynt, i'w deimlad ef, cerbyd yr Anweledig ydyw; a cherddediad yr Anfeidrol yw symudiadau trymaidd y môr iddo. Llais Duw yw y rhaiadr parhâus i'r dyn duwiol; ac addurniadau ar wisgoedd y Goruchaf yw y sêr. O leiaf, teimla fod Duw y tu ol ac yn ymyl y galluoedd mawrion hyn.

Yn drydydd, *Unigrwydd teimlad*. Dyma yr unigrwydd mwyaf gwirioneddol o'r tri. Y mae unigrwydd lle ac amser yn ymddangos yn fwy; ond yr unig ei deimlad sydd wir unig. Gall dyn er bod yn unig o ran lle, trwy gyfrwng dychymyg a serch, boblogi yr anialwch mwyaf anghyfanneddol. Ar y llaw arall, gall fod ymysg y llïaws o ran lle, ac eto fod yn druenus o unig. Mae y morwr ar ganol y môr yn unig o ran lle; ond trwy gyfrwng dychymyg pobloga yr unigrwydd. Gall dyn wneyd i fyny unigrwydd lle ac amser; ond rhaid cael Duw i wneyd i fyny unigrwydd teimlad. Pan wrtho ei hunan ar y mynydd ni theimlai yr Iesu yn unig; ond pan ar y groes yn nghanol y llïaws, llefai yn dorcalonus ei fod wedi ei adael. Y rheswm am y gwahaniaeth ydoedd fod Duw gydag efar y mynydd, ond wedi ei adael ar y groes.

Y mae yr unigrwydd hwn yn ddeublyg, sef unigrwydd y dyn sydd *uwchlaw* y cyffredin o ddynion, ac unigrwydd yr hwn sydd *islaw*. Un uwchlaw oedd yr Iesu. Methai y bobl ei ddeall, a safai yntau mewn unigrwydd dyrchafedig heb neb yn cydymdeimlo âg ef: rhai yn dyweyd mai dyn da ydoedd, eraill mai dyn drwg. Adeg neillduol y teimlai yr unigrwydd hwn oedd pan yn ddeuddeg oed yn y deml yn Jerusalem. Ymagorai bywyd a'i rwymedigaethau yn un cyfandir o'i flaen, fel y gwna ymron i bawb yr adeg yna. Odid y bydd neb yn myned heibio yr oedran tyner o ddeuddeg i bedair ar ddeg heb deimlo i raddau mwy neu lai yr unigrwydd hwn yn gwthio ei hun i sylw, pan y mae y meddwl yn troi oddiwrth sylweddau oddiallan, i edrych ar deimladau oddimewn. Pwy sydd heb allu galw i gôf yr ymgais i amgyffred Duw, a mesur tragywyddoldeb? Oni bu ein gorweddfa yn foddfa o ddagrau yn yr adeg yna gan deimlad o unigrwydd a bychander yn ngwyneb y fyntai o wirioneddau mawr a noeth a safent ger ein bron, megys y bedd, barn, tragywyddoldeb? Onid ydym yn cofio y teimladau eithafol o anghrediniaeth a ffydd a'n meddiannai pan yn ceisio amgyffred anfeidroldeb ac yn methu, nes penderfynu nad oedd y fath beth ag i ddyn fôd byth? Ond yr oedd y syniad o ddifodiant yn annyoddefol, nes yr oedd yr enaid yn nghanol yr anhawsderau yn dyheu am anfarwoldeb. Y cyfryw adeg o ddadblygiad yn hanes dyn oedd yr adeg yr oedd Crist yn y deml yn Jerusalem. Llawer gwaith y gwelwyd y teimlad hwn o unigrwydd yn tori allan ar ol hyn yn hanes yr Iesu. Ac fel hyn, ondsodid, y teimla pawb sydd uwchlaw neu o flaen eu hoes.

Ond y mae unigrwydd arall, sef unigrwydd y dyn sydd islaw y cyffredin o ddynion, neu mewn gair arall, y dyn *euog*—yr hyn sydd yn arwain at yr ail reswm dros gael y weledigaeth.

2. *Euogrwydd*. Y mae euogrwydd yn cynnwys unigrwydd. Unig yw y llofrudd yn nghanol ei deulu, ac yn nghanol y dyrfa. Felly y teimlai Judas y bradychwr gymaint nes yr ymgrogodd. A dyna yn ddiau y rheswm dros lawer o hunanladdiadau—teimlad gorlethol o unigrwydd ac esgymundod. Y mae y rheswm dros y ddau unigrwydd yn bur wahanol. Wrth wraidd teimlad o unigrwydd y dyn uwch-

raddol y mae rhwymedigaeth a dyledswydd, ond wrth wraidd unigrwydd yr euog y mae teimlad o ddiffyg cyflawni dyledswydd. Ac fel y gwahaniaetha natur yr unigrwydd, y gwahaniaetha yr angenrheidrwydd am Dduw. Anghen teimlo Duw cyfiawn o'i blaid sydd ar y naill; ac fel rheol y mae yn ei deimlo nes y gall ddyweyd, "Ac nid wyf unig, oblegid y mae y Tad gyda myfi." Onid fel hyn y teimlai Diwygwyr y byd ymhob oes? Felly y teimlai Elias ac Ioan Fedyddiwr, ac felly Luther a Calvin, Harries a Rowlands. Ond anghen y dyn *euog unig* yw Duw maddeugar. Peidier son wrtho am Dduw cyfiawn, y mae hyny yn ei wallgofi; ond y mae maddeuant yn peri iddo yntau deimlo, "Nid wyf unig."

Edrychwn ar euogrwydd yn Jacob fel y bu yn fantais i Dduw ddadguddio ei hun. Diau mai y noswaith hono yn Bethel y daeth pechod y patriarch yn ei adgasrwydd a'i berygl i'w feddwl. Cydnabyddai cyn ei gyflawni ei fod yn fai; ond yn ngwyneb y canlyniadau y daeth i'w gasâu. Y canlyniadau yw y cyfrwng trwy ba un y gwelir gwrthuni pechod am y waith gyntaf yn aml. Addefwn fod cyfryngau eraill, megys sancteiddrwydd a chariad Duw. Tir uchel yw hwn: ffieiddio pechod am ei fod y fath aflendid yn ngoleuni sancteiddrwydd—casâu pechod am ei fod y fath ddiystyrwch ar gariad mor fawr. Ond y cyfrwng dan sylw yw y canlyniadau. Gwedd hynod brydferth a roddwyd i Adda ar bechod, ond tra gwahanol y profodd y canlyniadau. Yr un modd y gwneir o hyd. Wrth edrych ar y bai trwy gyfrwng dychymyg, ymddengys yn deg a phrydferth, fel ffrwyth teg a dymunol yr olwg arno; ond yn yr effaith beryglus ar y cyfansoddiad y daw twyll yr ymddangosiad i'r golwg; felly am bechod. Perthyna i'r neidr wenwynig ymddangosiad prydferth iawn, eto cydsynia pawb mai creadur i gadw ymhell oddiwrthi ydyw. Cuddir o'r golwg gymeriad peryglus y gymydogaeth sydd yn llawn ogofeydd a glynoedd gan dywyllwch y nos, ond dadguddir yr unrhyw gan oleuni dydd. Felly y gwna goleuni argyhoeddiad, pa un bynag a geir ef yma ai ynte yn y byd a ddaw. A dyna yw argyhoeddiad: dyn yn sylweddoli y canlyniadau cyn myned iddynt—yn cael ei hun yn y farn ac yn uffern o ran ei *deimlad;* cael ei hun yn euog ond nid yn cael ei gosbi. Y mae dau ystyr i euogrwydd, sef bod yn agored i gosb, a'r teimlad o hyny. Darpara Duw yn debyg mewn natur a gras. Gellir tybied am ddyn mewn eisieu bwyd ond yn ddideimlad o hyny nes marw o newyn; ond gofalodd Duw am osod mewn dyn deimlad o newyn, er sicrhâu ei fod yn ceisio ymborth. A'r un modd am holl anghenion dyn, hyd y gwyddys; cynnrychiolir hwy yn nheimlad ac ymwybyddiaeth dyn. Dyna yw euogrwydd yn y *teimlad* o hono: sefyllfa wirioneddol dyn fel y mae yn agored i gosb yn cael ei chynnrychioli yn ei ymwybyddiaeth, er mwyn iddo sicrhâu maddeuant, yr hyn sydd fel ymborth i'r newynog.

Dyna oedd sefyllfa Jacob yn Bethel: canlyniad ei bechod fel yr oedd yn haeddu cosb, ac i raddau yn dechre cyfranogi o honi, am ei fod o'i herwydd wedi gorfod gadael cartref, yn cael ei gyflwyno i'w ymwybyddiaeth. Ond yn lle dwyn dyn yn agos at Dduw, ei bellhâu yw canlyniad naturiol euogrwydd; felly y ceir hanes yr euog bob amser. Ar ol i Adda bechu, ymguddia ymysg prenau yr ardd. Felly Cain; aeth o wydd yr Arglwydd, a thrigai yn nhir Nôd. Am Judas y bradychwr y dywedir, "Efe a aeth ac a ymgrogodd." Gwir mai dyna duedd naturiol euogrwydd pan nad oes dim yn y golwg ond Duw fel Barnwr. Ond golwg unochrog ar Dduw yw yr olwg yna. Dylid cofio fod Duw yn Dduw cyfiawn *ac* yn achubydd. Os gall ddigio, gall faddeu hefyd. Yr hyn sydd yn gwneyd uffern yn ofnadwy yw, mai Duw digllawn yn unig ydyw i drigolion y lle hwnw—y cwmwl yn wastadol ar ei ael, a digofaint yn barhâus yn ei eiriau, a phellach byth yr ânt oddiwrtho. Sefyllfa hynod anhapus yw eiddo y plentyn sydd â gwedd guchiog a geiriau garw y tad yn ei orfodi o hyd i ymlechu yn y gornel rhagddo. Ac nid yn unig y mae yn anhapus, ond â thuedd i galedu a phellhâu y plentyn. Ond yma y mae Duw yn madden anwiredd a phechod; ac os fel Barnwr y pellâ yr euog, fel Duw y maddeuant tyn yr euog ato ei hun. Ni bu y *magnet* yn tynu y dûr yn fwy nag y tyn maddeuant yr euog. Mortais yn yr efengyl yw maddeuant i enaid euog. Teimlai yr afradlawn yn euog, a chydnabyddai, "Pechais yn erbyn y nef ac o'th flaen dithau." Ond meddwl am ei dad tirion a maddeugar oedd yn ei dynu o'r wlad bell. Felly y teimlai Jacob: gwelai ei hun yn euog a ffol, ond nid oedd heb gael ei ddysgu fod Duw yn barod i faddeu; ac wrth gofio am dano fel Duw Abraham ei daid, a Duw Isaac ei dad, y tiriondeb a ddangosodd tuag atynt, a'r cyfammod a wnaeth â hwynt, doda ei ben i lawr yn dawel ar ei obenydd careg mewn ymddiried am faddeuant. Felly yr oedd yn dyfod yn nês at Dduw nag erioed, i'r graddau yr oedd wedi ei adael o'r blaen. Yr oedd ei gymundeb â Duw y noswaith hon yn cyfateb i'r dyeithrwch oedd wedi bod cyn hyny. A dyna yr eglurhâd ar y weledigaeth y pryd hwn mwy na chyn hyny.

Un eithafion ydoedd yma yn galw am y llall.

II. Y CYNNWYS O HONI. Arwyddocâad cyfriniol oedd yr ysgol o gyfryngdod yr Arglwydd Iesu; arwyddlun o ymddangosiad Crist yn y cnawd, ac o i farwolaeth yn uno Duw a dyn, nefoedd a daear.

Y gwirionedd cyntaf a gynnwys y weledigaeth, yw y *pellder* a'r *ysgariad* a barodd pechod. Dyna yn ddiau un elfen yn nheimlad Jacob oedd yn peri i Dduw roddi y weledigaeth, sef dangos er fod pechod yn ysgaru, fel y gwnaethpwyd âg ef trwy orfod iddo adael cartref, eto fod Duw am gyfanu y rhwyg. Y mae pob hanes a chymhariaeth yn y Bibl yn dangos y gwirionedd hwn. Pan unwaith y gadawodd y ddafad ei chynnefin, y mae yn myned ar ddisperod. Yr un modd y dryll arian, a'r mab afradlawn. Pechod yr angel a'i gyrodd o'r nefoedd, a'r un fath y bu gydag Adda yn Eden. Y mae y rhwyg hwn yn ymestyn hyd at y dyn yn ei berson ei hun; gwrthdystia cydwybod yn erbyn chwant, a rheswm yn erbyn teimlad. Ymadawodd yr enaid â Duw; yn fuan ysgerir enaid a chorff; ac os na cheir meddyginiaeth bydd ysgariaeth rhwng yr holl ddyn â Duw yn uffern byth. Rhyfedd na buasai mwy o ffieiddio ar bechod wrth feddwl am y drwg y mae wedi ei wneyd i'r teulu dynol.

Yr oedd nefoedd a daear yn un ar y cyntaf, ond torwyd y cymundeb gan bechod. *Colony* fechan oeid dynoliaeth yn dal cymundeb â'r fam-wlad; ond aeth i geisio byw yn annibynol, a buan yr ymosodwyd arni gan bob gelyn. Darn o wlad oedd mewn cysylltiad â chyfandir mawr ydoedd; ond ymruthrodd llifeiriant nes eu hysgaru. Dyna fel y tybir am Fôn ac Arfon; iddynt fod yn un gynt, ond erbyn hyn wedi eu hysgaru. Eithr y mae dyfais dyn wedi eu cyfanu i raddau.

Y gwirionedd arall ydyw yr *undeb* a gymer le trwy yr ysgol—trwy Grist. Amlwg a darllenadwy ar wyneb holl waith Duw ydyw yr undeb sydd rhwng y gwahanol ranau o hono a'u gilydd, a'u bod yn gwasanaethu eu gilydd. Y mae pechod ar unwaith yn hunan-gondemniedig fel lleidr ac yspeiliwr yn ymherodraeth Duw, yn ngwyneb yr elfen hon o undeb, gan mai ysgaru y mae ef. Eglur yw fod gwahanol ranau y greadigaeth i wasanaethu eu gilydd, ac felly dyn i wasanaethu Duw, a Duw i gyflenwi dyn. Tybier ein bod yn colli rhyw ddefnydd gwerthfawr ac adnabyddus; y canlyniad fyddai i'r tai fyned yn gandryll, i amaethyddiaeth ddyrysu a chelfyddyd ymrwystro—byddai tir a môr yn sio y golled. Ond beth fyddai colli yr haiarn wrth golli yr haul? Pwy allai ddychymygu maint y golled hono? Y darlun tebycaf i'r ddaear wedi colli haul fyddai tref wedi ei gadael yn bentwr o adfeilion gan arfau rhyfel—tai gwag, dodrefn drylliedig, cyrff meirw, sawyr ddrewedig, cigfrain yr awyr ac anifeiliaid daear yn cydymdaith âg yspeilwyr yr anialwch er ysglyfaethu y gweddill oedd i'w gael. Rhywbeth tebyg fyddai y ddaear wedi ei gadael gan yr haul. Amgylchynid hi gan dywyllwch y gellid ei deimlo, teyrnasai marwolaeth dros bobpeth, ac ni cheid yr un awel wynt i fywiogi yr awyrgylch; peidiai yr afonydd a'r ceunentydd â'u cyffro, a marw fyddai y môr ymhob man. O y cruglwyth o adfeiliad fyddai yr oll, ac mor eiddil fyddai y cais i'w hadferu! Ofer fyddai i ddyn geisio cynnyrchu yr awel wynt, a siglo y môr yn ei wely, ac adferu trefn. Un feddyginiaeth yn unig a wnai y tro: cael pelydrau haul i dywynu arni. Wel, yr hyn ydyw yr haul i'r ddaear ydyw Duw i'r enaid; ac ar ol ei golli ef, y mae y deall wedi tywyllu, yr ewyllys yn gyndyn, a'r gydwybod yn galed. Wele y byd prydferthaf a greodd Duw wedi myned yn gartrefle pob aflendid—gresyn hefyd! Yr unig ffordd i'w adferu ydyw cael Duw ac yntau i gymundeb â'u gilydd. A dyma un gwirionedd a ddysgir gan ysgol Jacob: fod hyny yn bosibl, ac y ceir hyny hefyd.

Y mae yr undeb hwn yn un cyflawn. Yr oedd yr ysgol yn sefyll ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd; y naill yn ymyl Jacob a'r llall yn ymyl Duw. Nid adferiad rhanol ydyw. Beth bynag oedd yn gynnwysedig yn yr undeb rhwng Duw a dyn yn Adda, nid yw yr undeb adferedig trwy Grist yn llai. Y mae yma "fywyd a bywyd yn helaethach." Ac y mae yn anmhosibl cael mwy na chael Duw yn Dduw i ni. "Myfi yw Duw Abraham, Duw Isaac, a Duw Jacob." A Duw yn Nghrist ydyw byth ar ol y cwymp. Y mae dwy fantais o leiaf o'i gael felly. Y mae yn edrych yn fwy prydferth. Onid yw gwrthddrychau natur yn ymddangos yn fwy prydferth o dan ryw amgylchiadau na'u gilydd, megys yr haul wrth godi yn y bore pan yn cymeryd lle y nos dywyll? Cymeriad da trwy gyfrwng hunanymwadiad sydd yn brydferth; felly Duw yn yr efengyl. Y mae Duw yn Nghrist hefyd yn fwy sicr: dyma yr ail fantais.

Canlyniad y weledigaeth yma oedd yn 1. Cynnyrchu ofn ac ymostyngiad yn Jacob. 2. Rhoddi cysegredigrwydd ar y lle. *Arwydd* o hyny oedd eneinio y golofn, ac *enw* ar hyny oedd Bethel. 3. Codi Jacob i wneyd cyfammod â Duw.

"'R ym yn dy erfyn, Arglwydd mawr,
Disgyn o entrych nef i lawr,
'R hyd ysgol faith Jehofah 'n ddyn,
Roi bendith Jacob i bob un."

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

METHODISTIAETH RHAN UCHAF LLANDDEINIOLEN.

*Gan y diweddar Barch.* ROBERT ELLIS, *Ysgoldŷ.*

RHAN III.

NODIAD 18. Tua y blynyddoedd hyn yr oedd chwarelau Dinorwig yn dechre dyfod yn boblogaidd, ac yn gyrchfa dyeithriaid, a'r trigolion mewn canlyniad yn amlhâu. Yr oedd y gwahanol *commons*, trwy ganiatâd goruchwylwyr ystâd y Faenol, yn cael eu cau i mewn yn brysur yn fân dyddynod, i fyny hyd ben y Cefn coch ar ochr yr Elidir. Yr oedd gan y Methodistiaid er ys blynyddoedd Ysgol Sul yn Waen Gynfi. Cynnelid hi i ddechre yn Rhydfadog, ac ar ol hyny yn y Garnedd. Yr oedd hyn cyn i'r un Annibynwr na neb enwad arall roddi ei droed i lawr ar y Gynfi. Felly yr oedd yr holl blant yn cael mantais i ddysgu darllen, ac yn cael eu hegwyddori yn dda gan yr hen Fethodistiaid pybyr a thwymngalon hyn. Clywsom fod rhywun yn Nghofiant y diweddar Barch. D. Griffith, Bethel, yn dywedŷd mai ardal farbaraidd oedd yr ardal uchaf hon cyn i Mr. Griffith anturio i sefydlu achos yn Ebenezer. Camsyniad dirfawr ydyw hyn. Aeth yn llawer mwy barbaraidd wedi hyny pan adeiladwyd pentref Ebenezer.

Rywbryd yn oes yr ail Ysgoldŷ yr adeiladwyd ysgoldŷ Cefnywaen. Cynnelid yr Ysgol Sul ar ol y Garnedd, ac hyd yr adeg yma, yn Cefnywaen, tŷ Owen Rowland. Bellach, wele yr Ysgol wedi cael cartref. Byddai yno hefyd gyfarfod gweddi bob tro y byddai un yn yr Ysgoldŷ. Ceid yno hefyd ambell i bregeth nos Sadwrn, a chyfarfod eglwysig yn achlysurol. Gwall mawr yr hen dadau fu esgeuluso sefydlu pregethu rheolaidd ac achos cyson yn yr ardal hon lawer iawn yn gynt. Eiddo y Methodistiaid oedd trigolion cyntaf Waen Gynfi. Yr oedd yr oll o'r plant o dan eu haddysg yn yr Ysgol Sul, a'r teuluoedd oll, yn arbenig felly y penau teulnoedd, yn wrandäwyr yn yr Ysgoldŷ. Rhifedi teuluoedd Waen Gynfi, tu uchaf i Glwtybont, pan ddechreuwyd cadw Ysgol Sul yn Rhydfadog, ac wedi hyny yn y Garnedd, oedd tua phymtheg. O lafur y Methodistiaid y cafwyd defnyddiau cyntaf Annibyniaeth yn yr ardal hon. Dechreuwyd yr Ysgol Sul yn Rhydfadog tua'r flwyddyn 1816. Richard Jones oedd yn byw yno ar y pryd. Yr oedd llawer o blant yn arfer ei mynychu, a'r rhai hyny, gan mwyaf, yn hynod dlawd. Adeiladwyd ysgoldŷ Cefnywaen tua'r flwyddyn 1827.

19. Bu ymuniad Rowland Evan y Weirglodd goch â chrefydd yn ddygwyddiad o ddylanwad mawr er llwyddiant yr achos goreu. Yr oedd Rowland Evan er pan briododd, os nad er yn llanc, yn ddyn moesol, fel y dywedir. Yr oedd wedi cael ysgol dda gyda John Sgŵl, fel ei gelwid. Cafodd hefyd ei alw i fod yn gwnstabl. Ac yr oedd yn ddyn darllengar, fel rhwng pobpeth, ei fod yn ŵr o ddylanwad ac awdurdod. Ymroddodd yn gynnar yn ei oes i gynnorthwyo gyda'r Ysgol Sul. Daeth ei wraig, Mary Ellis, at grefydd yn lled fuan ar ol priodi. Ond er fod Rowland Evan yn bobpeth gyda'r achos yn Ysgoldŷ, eto yr oedd yn oedi bwrw ei goelbren gyda phobl Dduw fel aelod o'r eglwys. Byddai, er hyny, yn arfer cadw addoliad teuluaidd cyson, ac hefyd yn holi yr Ysgol. Byddai *seiat plant* yn cael ei chynnal yn yr Ysgoldŷ fel manau eraill. Cyfrifid y cyfarfod hwn yn llawer mwy rhydd na'r cyfarfodydd eglwysig rheolaidd; a byddai Rowland Evan yn arfer dyfod i'r cyfarfod hwn. Yr oedd Morris Jones, "Yr Hen Brophwyd," wedi ei gyhoeddi i fod yn cadw *seiat plant* yn yr Ysgoldŷ ar nos Sadwrn; ond yn y cyfarfod eglwysig y nos Fercher blaenorol fe drowyd y *seiat plant* oedd i fod nos Sadwrn yn gyfarfod eglwysig rheolaidd. A daeth Rowland Evan yno heb wybod dim am y newidiad. Eisteddai ar fainc yn nghanol y llawr tra y bu Morris Jones yn dechre. Deallodd yn fuan fod y cyfarfod yn rhywbeth amgen na *seiat plant.* Mae yn gafaelyd yn ei het, ac yn dechre hwylio codi i fyned allan. Yr oedd ei frawd, William Evan, yn eistedd y tu cefn iddo. Y mae yn codi ac yn pwyso ar ysgwyddau Rowland, gan ddyweyd wrtho, "Loli, eistedd yna yn llonydd," ac felly y bu. Bu o hyny allan yn aelod yn yr eglwys hyd ei farwolaeth. Israeliad yn wir ydoedd, yn yr hwn nid oedd dwyll. Yr ydym yn gwneyd y nodiad hwn am y bu Rowland Evan yn un o brif gynnorthwywyr yr achos yn yr Ysgoldŷ o'i gychwyniad.

20. Yn y flwyddyn 1832, tynwyd yr ail Ysgoldŷ i lawr, ac adeiladwyd y trydydd. Yr oedd y flwyddyn hon yn un hynod ar gyfrif y diwygiad grymus a bendithfawr fu yn llenwi y wlad, a chafodd yr ardal hon ei rhan yn helaeth o hono. Y mae rhai eto yn fyw yn cofio Cadwaladr Owen yn pregethu ar gareg farch wrth dalcen yr hen dŷ capel ar y geiriau, "Dichon Duw o'r meini hyn gyfodi plant i Abraham," ar nos Sabboth teg yn yr haf, pan y torodd y diwygiad allan yn ei rym. Cynnelid y cyfarfod eglwysig yn ysgubor Blaenycae. Yno hefyd y cynnelid yr Ysgol Sul, a

byddai y pregethu yma ac acw drwy yr ardal fel y byddai'r cyfleusdra. Rhoddwyd ar Robert Roberts, Blaenycae, i gynllunio ac arolygu holl adeiladaeth y capel hwn. Efe ei hun oedd y *pwyllgor adeiladu*, a phawb yn bur dawel yn ymddiried y gorchwyl iddo. Ond bu agos i'r gŵr da syrthio, er called oedd, i amryfusedd poenus, o achos y mynai ei wneyd yn un llath ar ddeg wrth un ar ddeg, a gosod *gallery* ar ei dair ochr. Felly gosodwyd ef ganddo i'w wneyd i William Shôn Evan, Bwlchuchaf. Ond wrth chwalu mur y cefn, gwelwyd nad oedd y talcen nesaf i Rhiwgoch yn ddiogel. Ac felly ildiodd Robert Roberts i farn ei frodyr i'w fesurau fod yn bymtheg llath wrth un ar ddeg. Effeithiodd hyn gymaint ar feddwl R. Roberts fel y penderfynodd ei wneyd y capel harddaf yn yr holl wlad. Ac felly fu. Cyfrifid yr Ysgoldŷ yr adeg hon y capel mwyaf prydferth; a mawr iawn oedd y son am dano. Y daith Sabbothol ar y cyntaf oedd Ysgoldŷ, Rhydfawr, a Phentir. Ond yn y flwyddyn 1833, os nad ychydig cyn hyny, rhoddwyd yr Ysgoldŷ gyda Dinorwig, Rhydfawr gyda Llanrug, a Phentir gyda'r Felinhen (Penygroes, Llandegai, wedi hyny), a'r Gatehouse.

21. Gyda'r trydydd capel, adeiladwyd tŷ capel llawer mwy cyfleus dan ei dalcen uchaf, ac yma y llettŷai yr holl bregethwyr. Gosodwyd y tŷ capel hwn i bâr ieuanc, Ellis a Jane Williams, Dinorwig. Ond nid hir iawn y buont yma: nid oeddynt wedi eu tori allan at y gorchwyl. Y teleran y pryd yma oeddynt swllt y pryd am fwyd y pregethwyr, tunnell a hanner o lô bob blwyddyn, a hanner coron o ardreth i'w dalu am y tŷ, a chael tâl am lanhâu y capel gyda hyny; a rhywbeth yn gyffelyb ydyw hyd y dydd hwn (Mawrth, 1881). Bu amryw yn cadw y tŷ capel hwn; ond y teulu mwyaf rhagorol oedd William Morris a Margaret Jones, Rhiwgoch. Buont hwy yn ei gadw am flynyddoedd lawer, ac yn gwneyd hyny yn ddiau fel gwasanaeth i Dduw a'i achos.

22. Yn y flwyddyn 1830, neu rywbryd oddeutu yr adeg hon, daeth Evan Morgan i'r ardal o Lanrug, trwy briodi Catherine Foulkes, gweddw yr *hen* Robert Roberts, Blaenycae. Yr oedd Evan Morgan yn flaenor gweithgar yn Llanrug; ond pan symudodd i Blaenycae, er y cydnabyddid ef yn flaenor yn Ysgoldŷ, eto, rywfodd, yr oedd Robert Roberts flaenor â'i law arno fel na allodd fod o nemawr ddefnyddioldeb yn yr ardal hon. Bu farw cyn pen nemawr o flynyddoedd, a symudodd ei weddw a'r plant i'r America.

23. Yr oedd gwedd rymus a llwyddiannus ar yr achos crefyddol yn yr Ysgoldŷ yn y blynyddoedd hyn, sef ymlaen o'r flwyddyn 1832. Daeth yn un o'r eglwysi mwyaf ffrwythlawn yn y Sir. Yn yr Ysgoldŷ y dechreuwyd codi tâl y weinidogaeth o'r swllt, y dau, a'r tri, i'r pump, y chwech, a'r saith. Yr oedd Robert Roberts, Blaenycae, ymlaen ar ei oes gyda phobpeth, ac felly hefyd gyda hyn. Llanwyd y capel newydd yn fuan â chynulleidfa, cynnyddodd yr eglwys, a chynnyddodd ei chasgliadau, a'r un modd cynnyddodd pob llafur crefyddol. Yr oedd cynulleidfa yr Ysgoldŷ y blynyddoedd hyn yn un o'r cynulleidfaoedd mwyaf deallus yn holl Arfon. Felly y barnai y diweddar Barch. Morris Hughes, Felinheli, am dani; ac yr oedd efe yn ŵr o farn dda ddiammheuol.

24. Yn y flwyddyn 1828, pan y daethum i at grefydd, nid oedd ond ychydig o fechgyn ieuainc, na dim un ferch ieuanc, yn perthyn i eglwys yr Ysgoldŷ. Nid oedd neb o blant y rhai oedd yn proffesu yn arfer aros yn yr eglwys, ond yn unig Robert R. Roberts, Blaenycae, neu Robin bach, fel y gelwid ef, i'w wahaniaethu oddiwrth ei dad a'i daid, am mai Robert Roberts oedd y naill a'r llall o honynt. Ac o ran ei berson, corffilyn bychan gwael ydoedd; ond yr oedd yn llawn o feddwl. Cyn hir daeth Dafydd Prichard yma yn brentis o ddilledydd, yn fachgen pur ieuanc, ac yn ofni yr Arglwydd o'i febyd. Cyn pen hir daeth dau ŵr ieuanc eraill i'r eglwys, Griffith Humphrey a Michael Jones, Rhiwgoch. Daeth hefyd Daniel Prichard, Brynyrefail, ac Ellis Foulkes, ac yn olaf daethum innau. Felly yr oedd chwech neu saith o honom yn fechgyn pur ieuainc, oll o'r bron o dan ugain oed, yn aelodau o'r eglwys. Yr oeddem hefyd yn wir grefyddol, yn hollol ddidoledig oddiwrth ein cyfoedion digrefydd. Yr oeddynt hwy yn cilio rhagom ni, a ninnau rhagddynt hwythau.

25. Yn y flwyddyn 1834 cafodd Ellis Foulkes a minnau ganiatâd i ddechre pregethu gan yr eglwys a gyfarfyddai yn Ysgoldŷ y trydydd, a adeiladwyd yn 1832. Y diweddar Barch. John Jones, Talysarn, oedd yma yn derbyn llais yn eglwys yn ein hachos. Ac yr oedd yr eglwys yn unllais, heb neb yn groes, am i ni gael pregethu. Yr oedd achos Michael Jones, Rhiwgoch, hefyd dan sylw. Yr oedd y brawd hwn yn gystal cristion, os nad gwell, na neb o honom, ac yn meddu dawn gweddi hynod. Ond wrth geisio pregethu yr oedd yn pallu yn ol. Ac felly nid aeth rhagddo. Priododd â Jane, merch John Foulkes, Maesydref, ac ymhen amser symudodd i America. Yn lled fuan yr adeg hon, dewiswyd William Evans a Griffith David Morgan yn flaenoriaid. Profodd y blaenaf ei hun yn flaenor ffyddlawn a gwir ofalus am yr achos. Yr oedd

Griffith Dafydd, canys felly yr arferem ei alw, yn ŵr ieuanc gobeithiol. Yr oedd wedi ei fagu gyda chrefydd o'i febyd, yn ddyn ieuanc dichlyn, ymroddgar am wybodaeth; a gwnaethai flaenor o'r fath oreu, pe buasai yn aros ar hyny. Ond mynai fyned i bregethu, ac i bregethu yr aeth. Ac er ei holl lafur am wybodaeth, a threulio pedair blynedd yn Athrofa y Bala, nid oedd *dim* o'r pregethwr ynddo yn y diwedd. A gwaeth eto, aeth yn falch, gan dybied ei fod yr hyn nad ydoedd. Am nas gallai gael eraill i feddwl am dano fel yr oedd ef yn meddwl am dano ei hun, syrthiodd allan â phawb ac â phobpeth. O'r diwedd aeth i'r America, a chyfarfu â'r un siomedigaeth yno drachefn. Ymunodd â'r Presbyteriaid, ond cafodd yr un siomedigaeth gyda hwythau. Daeth adref wedi colli ei iechyd, a bu farw â'i oes wedi troi allan yn fethiant hollol. Nid oes un cyfrif i'w roddi am y fath gyfnewidiad ond fod rhyw bin wedi myned o'i lle yn y meddwl, achos yr oedd Gruffydd Dafydd y blaenor a Griffith Davies y pregethwr yn ddau hollol wahanol, heb ddim yn debyg ynddynt y naill i'r llall! Y wers bwysig i bob dyn i'w dysgu ydyw, adnabod ei le ei hun.

26. Rywbryd tua'r flwyddyn 1839 neu 1840 (nid ydwyf yn hollol sicr o'r flwyddyn), y dechreuwyd meddwl o ddifrif am adeiladu capel a sefydlu achos yn Nghefnywaen. Fel y crybwyllwyd, yr oedd yno ysgoldŷ ac Ysgol Sul, cyfarfod gweddi, ac ambell i gyfarfod eglwysig, yn flaenorol. Yr ysgogiad cyntaf tuag at gael capel oedd pwyllgor yn Brynteg, yn nhŷ Rowland Abraham. Yr oedd yn bresennol Robert Evans, John Foulkes, William Evans, a Cornelius Jones. Yr oedd y brawd diweddaf wedi ei ddewis yn flaenor yn Mhentir, ac wedi symud i fyw i Ebenezer. Gyda y brodyr hyn yr oedd yno Hugh Roberts, Tanybuarth; Ioan Owen, Ceryglllwydion; Owen Rowland, Cefnywaen; Owen Rowland, Garnedd; Ellis Foulkes, a minnau. Penderfynwyd yn y cyfarfod hwn adeiladu capel deg llath ysgwâr. Ond mewn pwyllgor a gynnaliwyd yn Cefnywaen ar ol hyn, daeth yr hen frawd Hugh Roberts i mewn ar y canol, bron colli ei anadl; a dywedodd fod rhyw ŵr wedi prynu tir yn Llanbabo i adeiladu deg ar hugain o dai; a hyny oedd wirionedd, sef y tai a adnabyddir fel y ddwy rês fawr. Yna ar unwaith penderfynwyd i'r capel fod yn ddeuddeg llath ysgwâr. Felly fu; adeiladwyd y capel, a gwnaed yr hen Ysgoldŷ yn dŷ capel. Costiodd y cwbl rywfaint uwchlaw £300. Bellach dyma fyntai go gref o'r Ysgoldŷ yn ymsefydlu yn eglwys yn Cefnywaen. Daeth William Rowland, Clwtybel, oedd yn flaenor yn Dinorwig, i Gefnywaen. Efe a Cornelius Jones oeddynt y blaenoriaid cyntaf ar yr eglwys hon. Gŵr da oedd William Rowland. Yr oedd Ellis Foulkes yma hefyd fel pregethwr hefyd. Daeth yr achos rhagddo yn gyson, nes y mae, fel ei gwelir heddyw, yn achos gwir lwyddiannus. Yr oedd eglwys Cefnywaen am y blynyddoedd cyntaf ymhell o fod yn iach ei theimlad. Er fod yno nifer o saint teilwng o'r enw, etoyr oedd yno wraidd chwerw yn peri blinder. Yr oedd Hugh Roberts, Tanybuarth (Blaenycae), a Ioan Owen, Cerygllwydion, yn ddau frawd zelog a llafurus gyda'r achos yn Cefnywaen er dechreuad yr Ysgol Sul yno, a'r ddau yn meddu llawer o gymhwysderau i flaenori; ac yr oedd eu galw i'r swydd yn beth yn cael ei ddymuno ganddynt. A pha ddrwg ydyw i ddyn ddymuno swydd blaenor, mwy nag i ddyn arall ddymuno bod yn bregethwr? Ond y fath oedd rhagfarn nifer o frodyr yn yr eglwys yn eu herbyn, fel na chawsant yr alwad hon o gwbl. Ond cyn hir, agorodd y ddaear ei safn i lyncu cynnulleidfa Corah.

27. Yn y flwyddyn 1853 dewiswyd Robert Roberts, Dorlan goch; William Jones, Clwtybont; David Prichard, Clwtybont; a Griffith Owen, y Winllan, yn flaenoriaid yn yr Ysgoldŷ. Pedwar cymeriad lled wahanol i'w gilydd oedd y pedwar hyn. Yr oedd Robert Roberts yn ŵr o feddwl grymus—y tu hwnt i'r cyffredin o ran ei feddwl; ac yr oedd yn Fethodist trwyadl. Gwasanaethodd swydd diacon yn dda. Bu farw yn y flwyddyn 1879, yn 73 mlwydd oed. Mae ei le eto yn wag. Nid oes o'r pedwar hyn yn aros ond David Prichard; ac ni bu brawd ffyddlonach i Grist a'i grefydd erioed. Y mae yn zelog, ac yn wir ofalus am grefydd yn ei holl ranau. Bydd ei wobr yn fawr yn y nefoedd.

28. Yn y flwyddyn 1860 symudodd nifer lliosog o'r Ysgoldŷ i sefydlu achos ac eglwys yn Machpelah; felly aeth mwy na hanner yr eglwys a'r gynnulleidfa ymaith, a gadawyd yr hen Ysgoldŷ yn fwy na hanner gwag. Ond gwaeth na hyny, aeth yr elfen fywiog oedd yn Ysgoldŷ ymaith braidd yn llwyr. Mae cynnulleidfa yr Ysgoldŷ ar ol yr ymadawiad hwn yn wasgarog, ac ymhell oddiwrth eu gwaith. Mae y gynnulleidfa hefyd o duedd dawel, ac yn tueddu at fod yn rhy fydol. Nis gwn am yr un eglwys o'i maint â chynifer o wragedd gweddwon yn perthyn iddi. Mae nifer lliosog o dai yn dai hesbion—hen bobl naill ai heb blant, neu wedi gorphen eu magu, yn byw ynddynt. Symudodd William Jones a David Prichard gyda'r encilwyr i Machpelah. Yn 1864 adeiladwyd capel eang Dysgwylfa; ac y mae yr

achos yno wedi bod hyd yma yn un grymus a chynnyddol. Rywbryd yn yr adeg hon (nis gwyddom y flwyddyn i fanylrwydd), dewiswyd Edward Foulkes yn flaenor yn Ysgoldŷ, a'r un modd Robert Ellis, Caecoch.

29. Yn y flwyddyn 1871 daeth Griffith Williams, Fronchwith—gŵr ieuanc oedd wedi ei alw yn flaenor yn nghapel y Graig—gyda'i rieni i fyw i Fronchwith; a galwyd ef yn unllais gan yr eglwys i wasanaethu swydd blaenor yn yr Ysgoldŷ. Yn fuan drachefn dewiswyd tri eraill i'r un swydd—Robert Jones, Penyrolchfa; Griffith Jones, Blaenywaen; a William Griffith, Cefncoed. Yn 1874 ymadawodd Edward Foulkes i Dinorwig. Felly, yn ystod deuddeng mlynedd a thriugain, daeth yr hen Ysgoldŷ, ei eglwys a'i gynnulleidfa, drwy gyfres o gyfnewidiadau pwysig. Ond, er pobpeth, y mae wedi byw, ac yn debyg o fyw eto; fel y berth yn llosgi ond heb ei difa.

30. Beth am yr achos crefyddol yn yr Ysgoldŷ yn y wedd bresennol arno? Yr oedd yr Ysgoldŷ wedi myned er ys blynyddoedd yr hen gapel mwyaf hen ffasiwn yn yr holl wlad, a phawb yn ein beïo o'i herwydd. Yr oedd yn ein plith ddwy blaid; y naill am adgyweirio yr hen, a'r llall am gapel newydd yn gwbl oll. Yn y flwyddyn 1877—8 penderfynwyd rhoddi yr achos at farn yr ardalwyr. Er mwyn gwneyd hyny yn drwyadl, galwyd ynghyd holl frodyr y gynnulleidfa. Yn y cyfarfod hwn penderfynwyd i Morris Thomas a minnau fyned o'r neilldu, a gofyn barn pob mab a merch dros 16 mlwydd oed, pa un ai adeiladu capel newydd ai ynte adgyweirio yr hen oedd oreu. Canlyniad y pleidleisio hwn ydoedd fod tair rhan o bedair am gapel newydd. Mewn cyfarfod gweddi diolchgarwch am y cynauaf, penderfynwyd codi pwyllgor adeiladu, trwy i bob un enwi deunaw o frodyr, ac ysgrifenu eu henwau ar bapyr. Ac felly y bu. Yr oedd yr holl swyddogion i fod yn aelodau o'r pwyllgor yn rhinwedd eu swydd eglwysig. Y rhai a ddewiswyd oeddynt Mri. Samuel Jones; Owen Jones, Penrallt; William Parry, Clwtybont; John Ellis, Lleiniau; David Jones, Perthi; Griffith W. Griffith, Cefncoed; Lewis Roberts, Tŷnewydd; William Ellis, Werddgloddgoch; Morris Thomas, Rhiwgoch; Thos. Foulkes, Cae'rbythod; Griffith Foulkes, Llŷs; Owen Williams, *joiner;* William Prichard, Talywaen; John Griffith Jones, y Celyn; Griffith Roberts, Caecorniog; Rowland Evans, California Terrace; ac Owen Ellis, Ysgoldŷ.

Pan oedd y pwyllgor hwn yn hwylio dechre ar eu gwaith, trwy gynnal amryw gyfarfodydd a dechre cynllunio pa fodd i fyned ymlaen, trwy ddewis Mr. Richard Davies, Bangor, yn *architect,* daeth y "byd gwan" ar eu gwarthaf, gan y trowyd llawer i ffordd o'r chwarel, a'r gweddill yn cael gweithio ond tri diwrnod yn yr wythnos. Barnodd y pwyllgor mai doeth oedd oedi hyd oni ddeuai haul ar fryn, neu hyd oni cheid gweithio amser llawn, bid a fo. Felly oedwyd hyd ddechreu y flwyddyn 1881, pryd y galwyd y pwyllgor ynghyd eilwaith. Wedi llawer o siarad, penderfynwyd myned ymlaen yn ddiaros. Ond gwelwyd fod y pwyllgor, yn y cyfamser, wedi ei fylchio gryn lawer trwy symudiadau o'r ardal, marwolaethau, a chiliad ymaith oddiwrth grefydd ac achos yr Arglwydd. Ychwanegwyd gan hyny at eu nifer—Daniel Roberts, Waenhir; John Roberts, Deiniolen Terrace; John D. Williams, Celyn isaf; David Ellis, Cae'rbythod; a Rowland Evan Roberts, Dorlangoch.

Bellach dechreuwyd gweithio o ddifrif. Yr oedd nifer o lodesi ieuainc wedi eu nodi i fyned trwy yr ardal i gasglu. Aethant allan yn ddwy a dwy. Rhoddwyd ar yr *architect* i berffeithio y cynlluniau. Cafwyd 17 o gynnygwyr i wneyd y gwaith; a'r isaf o honynt oeddynt frodyr, sef Meistri Williams o Fangor. Felly fe'i gosodwyd iddynt i'w wneyd am £1160. Nos Sabbath, y 13eg o Fawrth, 1881, cefais y fraint, os braint hefyd, o bregethu y bregeth olaf yn yr hen Ysgoldŷ; y testun oedd 1 Sam. vii. 12. Y mae yn sicr i mi ddyweyd a phregethu mwy o fewn yr hen adeilad gysegredig yma o gryn lawer na neb arall. Drannoeth dechreuwyd ei chwalu. Ar ol dwy wythnos o chwalu, dechreuodd y saer maen ar ei waith. Y 4ydd o Ebrill bu arwerthiant ar hen ddefnyddiau yr hen Ysgoldŷ anwyl.

Adeiladwyd y trydydd Ysgoldŷ hwn yn 1832. Blwyddyn hynod fu hon—blwyddyn y diwygiad grymus trwy Ogledd Cymru—blwyddyn y *cholera* marwol (ei ymweliad cyntaf), a blwyddyn y *Reform Bill.* Felly bu yr hen Ysgoldŷ ar ei draed am fwy na 48 mlynedd. Ar y cyntaf yr Ysgoldŷ oedd y capel harddaf yn holl Arfon. Byddai son am dano ymhell ac agos. Byddai pregethwyr dyeithr yn cael eu siomi yn anghyffredin. Dysgwylient gael rhyw gwt o gapel bychan, diaddurn, a hyny o herwydd yr enw oedd arno; ond erbyn dyfod yma, byddent yn ei gael y capel mwyaf prydferth a harddaf yn y wlad. Gwelodd lawer o gyfnewidiadau. Bu yma dair oes yn pregethu, a thair oes o swyddogion yn arwain, a thair oes o wrandäwyr ac aelodau eglwysig.

---

Yn niwedd y nodiadau hyn y mae Mr. Ellis yn sylwi mai "doethineb ydyw i mi beidio a rhoddi barn ar ansawdd bresennol a rhagolygon dyfodol yr achos yn yr Ysgoldŷ, rhag i mi, sydd â'm meddwl mor gymylog, roddi golygiad rhy dywyll arno." Pa fodd bynag, gellir sicrhâu iddo deimlo y dyddordeb dyfnaf yn yr adeilad newydd hyd y diwedd; a gwyliodd ei gynnydd yn gyson fel un o'r pethau gwerthfawrocaf ganddo ar y ddaear. Eto ni chafodd fyw i weled gorpheniad yr adeilad. Teimlwn y bydd yr hanes am yr achos goreu yn y rhan hon yn fwy cyflawn wrth i ni ychwanegu y manylion canlynol am yr Ysgoldŷ newydd — y pedwerydd o'r dechreuad. Pregethodd Mr. William Griffith, brawd ieuanc o flaenor perthynol i eglwys yr Ysgoldŷ, oedd yr adeg yma yn dechre pregethu, y bregeth gyntaf yn y capel newydd, y 29ain o Ionawr, 1882, oddiar Psalm lxxxiv. 4, 5. Cynnaliwyd y cyfarfod agoriadol y 23 a'r 24ain o Fawrth, 1882, pryd y gwasanaethwyd gan y Parchn. J. Ogwen Jones, B.A., Rhyl, ac Owen Thomas, D.D., Liverpool. Yr oedd gan y bobl galon i weithio; canys er myned i draul o tua £1350, rhwng y capel, ei dwymniad, a'i ddodrefniad, ynghyd ag adgyweirio y tai a'r eiddo cylchynol, nid oedd y ddyled oedd ar y cwbl ddydd yr agoriad ond pum' cant a deugain o bunnau. Cyfranasant felly dros wyth cant o bunnau tuag at glirio ei ddyled, a hyny mewn adeg ag yr oedd mesur o gyfyngdra masnachol yn ein gwasgu fel ardaloedd gweithfaol. Er cymaint a gyfranwyd, nid oes neb yn teimlo ei hun geiniog yn dlotach; ac ni ryfeddem nad y rhai a gyfranasant fwyaf a gyfoethogasant fwyaf hefyd yn yr un tymmor.

Wrth adael yr hanes, nid oes genym ond dymuno i ogoniant y bedwaredd deml hon ragori ar y tair blaenorol, yn ngwaith ein Duw yn ei ymweliadau grasol yn achub y gwrandäwyr, ac yn sancteiddio iddo ei hun lawer o bobl barod, awyddus i weithredoedd da. Ffaith deilwng o sylw yn y fan hon ydyw, fod eiddo y Methodistiaid Calfinaidd yn y rhan hon o blwyf Llanddeiniolen erbyn hyn yn werth tuag un fil ar bymtheg o bunnau, ac nad oes ond tua y ddegfed ran o'r swm hwn, sef un cant ar bymtheg, yn aros fel dyled arnynt yn bresennol. Wrthynt oll ni a ddywedwn, yn ngeiriau ein hybarch dad ymadawedig y mae ei goffadwriaeth mor gu genym, "Byddwch wych, byddwch well well."

J. O. J.

---

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

### PENNOD XIII.

*Seth.*

Fel y crybwyllais, rhaid i mi sôn ychydig am Seth y bachgen gwirion, gan iddo ef fod yn achlysur i ffurfio cyfnod yn fy hanes. Cymeriad rhyfedd oedd Seth. Nid ydwyf yn cofio pa bryd y daethum gyntaf i gydnabyddiaeth âg ef. Wrth i mi sugno fy nghôf, nis gallaf gael dim o hono yn ei gylch ond—Seth—yr un faint, yr un lun, yr un oedran, yr un fath bob amser. Pe gofynai rhywun i mi pa bryd y sylwais gyntaf ar y pren crabas oedd yn ymyl ein tŷ ni, ac a ydwyf yn cofio gwahanol gyfnodau ar ffurf ei ganghenau, yn sicr byddai raid i mi ateb yn nacäol. Yr unig adeg bendant yr wyf yn cofio yn hanes y pren crabas ydyw y dydd y gorchymynodd gŵr y Plâs ei dori i lawr. A phan oedd y coedwr calongaled yn cymhwyso ei fwyell at ei fôn ac yn peri i'w ysglodion hedeg yma ac acw, a phan syrthiodd yr hen bren i'r ddaear, teimlwn fel pe buaswn yn colli hen gyfaill anwyl; oblegid ambell i grebyn a fwytaswn oddiar ei ganghenau, y rhai er eu bod yn codi dincod ar fy nannedd, oeddynt yn felus yn niffyg eu gwell. Rhyw un drychfeddwl fel hyn sydd genyf am faint a hanes y pren crabas hyd y dydd y torwyd ef i lawr. Yn gyffelyb y mae gyda golwg ar Seth. Yn flaenorol i adeg ei farwolaeth, rhyw un cyfnod ydyw ei hanes yn fy meddwl, heb ddim ynddo ond Seth: bachgen o bryd goleu, yn tueddu at fod yn dàl, yn deneu ac esgyrniog, yn gwyro tipyn ar ei wàr, ei ên yn fechan ac yn ymgolli ymron yn ei wddf, ei safn bob amser yn hanner agored; llygaid bychain, gleision a diystyr, ond braidd yn llawen; ei drwyn yn ddiaddurn, ac heb fod yn hollol lân, ei dalcen yn fychan ac yn cilio yn ol mewn llinell union ymron â'i goryn, yr hwn oedd uchel a chul ac yn bargodi dros ei wegil hir.

Pobl syml a diniwed oedd ei rieni, yn byw mewn tŷ bychan twt, dipyn allan o'r dref. Crydd wrth ei alwedigaeth, neu yn hytrach *cobbler*, oblegid ni byddai yn gwneyd esgidiau newyddion, ydoedd Thomas Bartley, tad Seth. Ni chyfrifid Thomas na Barbara Bartley fel yn perthyn i ddosbarth y gwybodusion. Yn wir, edrychid yn gyffredin ar y ddau heb fod yn ben llathen; o ganlyniad—Seth. Ni fedrai Thomas na Barbara lythyren ar lyfr; ac nid elai y naill na'r llall byth i gapel nac eglwys oddieithr ar ddydd cyfarfod diolchgarwch am y cynauaf. Ond clywais â'm clustiau fy hun Thomas yn dyweyd fwy

nag unwaith ddarfod iddo pan yn ieuanc fod yn dilyn yr Ysgol Sul yn gyson am o bedair neu bum' mlynedd, a chredai pe buasai wedi dal ati am ychydig o flynyddau yn rhagor y buasai wedi meistroli yr A B C. Clywais ef hefyd yn ymorchestu ei fod wedi bod yn gwrando droion ar John Elias, Williams o'r Wern, a Christmas Evans; ond pan ofynid iddo pa fath rai oeddynt, ei ateb yn ddïeithriad a fyddai, "Cato pawb! rhai garw oeddan nhw—garw dros ben!" Yr oedd y ddau hen ben Thomas a Barbara yn hynod ddiniwed a hapus. Pechod mwyaf parod i amgylchu Thomas oedd ei fod braidd yn dueddol i gymeryd enw Duw yn ofer, er nad oedd yn gwneyd hyny, dybygid, yn annmharchus. Ni chymerasai lawer a gweithio ar y Sabboth; ac ni fuasai byth yn dysgwyl bendith pe buasai yn euog o hyny. Ond ni welai efe ddim niwed mewn treulio oriau lawer bob Sabboth i sefyll â'i bibell yn ei safn i wylied y mochyn yn bwyta, ac i gyfrif pa bryd y byddai yn barod i'r gyllell; pa faint a wnai bwyso, a doeth wedi ei ladd a fyddai gwneyd pwdin gwaed a *brawn;* pa un ai cadw ai gwerthu y syrth a fyddai oreu, pa rai o'r cymydogion a oedd dyled arno i anfon darn o'r asen goch iddynt—ac yn y blaen. Ni feddyliai Thomas fod fai yn y byd iddo ef a Barbara dreulio y Sabboth i siarad am bethau felly; ond ni chymerasai lawer o arian am wisgo ei ffedog ledr am awr ar ddydd yr Arglwydd. Byddai fy mrawd Bob yn hoff iawn o fyned â'i esgidiau i gael eu trwsio at Thomas Bartley, er mwyn iddo gael ei "dynu allan," fel y dywedai; a gwelais ef yn chwerthin nes y byddai y dagrau yn treiglo i lawr ei ruddiau wrth adrodd i fy mam y syniadau rhyfedd a fyddai wedi eu cael ganddo yn ystod yr ymweliadau hyn. Blinid fy mam yn fynych gan y gymmalwst; ac yr wyf yn cofio ei bod yn dyoddef yn dost gan yr anhwyldeb hwn un tro pan oedd Bob newydd ddychwelyd ar ol bod yn ymweled â Thomas. Adroddai Bob yr ymgom ganlynol fel y peth diweddaraf a gawsai gan yr hen grydd; ac er na fyddai fy mam un amser yn hoff o ddigrifwch, nid allai lai na gwenu gan mor naturiol y dynwaredai Bob ffordd Thomas Bartley o siarad.

"Sut mae dy fam, Bob?" gofynai Thomas.

"Drwg iawn ydyw, Thomas Bartley," ebe Bob. "Mae hi yn dyoddef yn fawr iawn gan y rumatis; nid ydyw yn cysgu ond ychydig gan y poenau."

"—— cato pawb! cato pawb!" ebe Thomas. "Wyddost ti, Bob? dydw i ddim yn dallt y Brenin mawr yna, wel di; dydw i ddim yn 'i ddallt o yt ôl. Gwraig fel dy fam, na 'naeth hi 'rioed ddim ar y ddaear hon yn ei erbyn o, yn cael ei phoeni fel ene o hyd o hyd; dydw i ddim yn i 'ddallt o 'n siŵr i ti."

"Yr ydych yn meddwl yn rhy dda o fy mam, Thomas Bartley," ebe Bob. "Mae hi yn achwyn arni ei hunan yn aml, ac yn ofni bob dydd na fydd hi yn gadwedig yn y diwedd."

"Ddim yn gadwedig yn y diwedd?" ebe Thomas. "Be sy ar y wraig, dywed? chlywes i 'rioed am gam dro arni; glywes di, Barbara?"

"Na chlywes i, neno dyn," ebe Barbara.

"Naddo debyg," ebe Thomas; "a chlywodd neb arall ddim chwaith. Aros di, Bob, 'rwyt ti yn sgolor, a mae Barbara a mine wedi meddwl lawer gwaith a gofyn i ti, ond yn bod ni yn anghofio—Ydi'r Llyfr ddim yn deyd y bydd yna lot o honom ni yn gadwedig yn y diwedd?"

"Mae sôn ynddo am dyrfa fawr na ddichon neb eu rhifo," ebe Bob.

"Tw bi shŵar! on deuddwn i'n d'eyd i ti, Barbara? A siarad neiff pobl anwybodus. Credu yr ydw i, wel di, Bob, os byddwn ni'n onest, a thalu'n ffordd, a byw rhywbeth agos i'n lle, y byddwn ni gyd yn gadwedig. Wyt ti eisio gwadne yn gystal a sodle ar rhai'n? Mae nhw'n dechre myn'd; well i ti gael 'i weltio nhw hefyd."

Llawer o bethau cyffelyb a glywais i Bob yn adrodd. Ond am Seth yr oeddwn yn sôn. Clywais lawer gwaith am y rhai sydd mor anffodus â dyfod i'n byd heb fod yn *compos mentis,* fel y dywedir, fod ynddynt ryw gyfrwysdra a dichell tu hwnt i bobl eraill. Ond nid oedd dim o hyn yn Seth. Yr wyf yn credu ei fod yn berffaith ddiniwed; ac yr oedd ganddo galon hynod o garedig a thyner. Pa beth bynag a ofynid ganddo, efe a'i gwnai os byddai yn ei allu, ac nid allai gadw dim fel ei eiddo heb ei roddi i rywun arall. Ymddangosai i mi fod ei galon bob amser yn ei lle; ond druan! yr oedd ei synwyr yn fychan. Mewn gwirionedd, plentyn ydoedd er ei fod o ran maintioli yn ŵr. Pa feddyliau bynag oedd yn gwibio trwy ei galon, nid oedd ganddo ond gallu eiddil i'w mynegu; yr oedd ei iaith yn fabanaidd, a'i eiriau yn ychydig. Yr oedd pawb yn y gymydogaeth yn adnabod Seth, ac yn barchus o hono ar gyfrif ei wendid, dybygid. Ië, yr oedd holl gŵn y dref a'r wlad yn ei adnabod, ac yn ysgwyd eu cynffonau iddo; ac nid äi Seth heibio i un o honynt heb dynu ei law dros ei ben, a'i gyfarch yn serchog yn ei ddull ei hun. Gan feddwl, yr oedd ganddo un gallu yn arbenig, sef y gallu i gofio enwau cŵn, ceffylau, &c. Ychydig oedd yr amser a dreuliai gartref. Yr oedd Seth rywfodd yn gallu bod yn

hapusach ymhobman nag yn nhŷ ei dad a'i fam. Os dygwyddai i mi godi yn fore, byddwn yn sicr o weled Seth. Os byddwn allan yn hwyr, byddai Seth ar fy llwybr yn rhywle. Os byddai helynt yn y dref, un o'r rhai cyntaf a welwn a fyddai Seth. Os byddai tŷ neu dâs wair ar dân, yno hefyd yr oedd Seth. Ymhob cyfarfod pregethu, cyngherdd, a darlith, yr oedd Seth yn un o'r gynnulleidfa; oblegid yr oedd ganddo drwydded i fyned i bobman, gan na ofynid tocyn iddo gan un enwad na phlaid.

Byddai ymhob moddion o ras yn y capel yn gyson, a gwrandawai yn astud ar bob gair a ddywedid; ond ni thybiai neb ei fod yn deall dim. Erbyn hyn yr wyf yn ammheu a oedd y dybiaeth hon yn gywir; oblegid yr wyf yn cofio i mi sylwi lawer gwaith ar ei wyneb pan fyddai y pregethwr yn llefaru, a chanddo rhyw lygedyn o fwyniant deallol yn myned drosto. Nid oedd y llygedyn hwn yn para ond am eiliad, a gadawai ei wyneb yn wâg a diystyr fel o'r blaen, ond yr oedd mor wahanol i'r wedd gyffredin a fyddai arno nes tynu fy sylw. Pan ofynid iddo pa beth a fyddai y pregethwr wedi ei ddyweyd, nid oedd yn cofio dim ond yr enw Iesu Grist, neu, o leiaf, nid allai adrodd dim. Yr oedd lle i gredu ei fod yn synied yn uchel am bob pregethwr, oblegid nid oedd dim a roddai gymaint o foddhâd iddo a chael dal pen ei geffyl, neu ynte ddangos tŷ'r capel iddo. Pan syrthiai hyn i'w ran, dywedai yr hanes wrth ei holl gyfoedion gyda phleser mawr. Er fod Seth, fel y sylwais, o ran oedran a maintioli yn ŵr, eto plant oeddynt ei gymdeithion yn wastad.

Deuai i'r seiat plant yn gyson, ac adroddai ei adnod fel y gwnai y plant eraill. Yr un adnod a fyddai ganddo yn ddïeithriad: "Iesu Grist ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Methodd fy mam a minnau ac eraill a chael allan pwy oedd wedi ei dysgu iddo. Yr oedd yr adnod fel pe buasai wedi cyd-dyfû âg ef, ac wedi llenwi ei feddwl fel nad oedd yno le i adnod arall. Gan mai yr un adnod a adroddai bob amser, yr wyf yn cofio i Abel Hughes un tro yn y seiat plant fyned heibio i Seth heb ofyn iddo am dani. Wrth weled hyny, torodd Seth i wylo allan yn hidl, ac ni fynai ei gysuro. Yr oeddym oll fel plant yn hoff iawn o Seth, ac aeth y nifer mwyaf o honom i wylo gyda ef. Yr oeddwn i, yr wyf yn cofio yn burion, yn ei thywallt hi yn brâf, oblegid nid oedd eisieu llawer i beri i mi grio. Er fod Abel, fel y sylwais o'r blaen, yn ddyn penderfynol a hunanfeddiannol, ni welais ef erioed yn y fath *fix*. Tynai wynebau rhyfedd, a methai yn glir a siarad. Ceisiodd yn y mân liniaru teimladau Seth, ond ni fedrai. Gwn iddo deimlo yn dost am yr hyn a wnaeth; ac fel iawn am ei gamymddygiad, anrhegodd Abel Seth y dydd canlynol â llyfr hymnau; ac iachäodd hyny ei holl friwiau. Y llyfr hymnau hwn oedd yr unig beth wyf yn cofio i Seth allu ei gadw heb ei roddi i arall. Ni fuasai dim yn ei brynu ganddo; cariai ef i bob moddion, ac agorai ef tua'r canol pan fyddid yn canu; ond rhyfedd! byddai agos yn wastad yn ei ddal o chwith, sef â'i ben i lawr. Yr oedd Seth wedi sylwi y byddai rhyw bobl garedig yn dangos y tu dalen i eraill oedd yn eu hymyl, ac heb ddal ar rif yr emyn; ac os gwelai yntau rywun â gronyn o betrusder arno, äi ato yn syth, gan ddangos ei lyfr agored fel pe buasai ef yn sicr o honi.

Byddai ystum ryfedd arno ar adegau yn yr addoliad, ac nid allai lai na bod yn brofedigaeth i bregethwr dyeithr; ond yr oedd y gynnulleidfa wedi hen gynnefino âg ef, ac heb sylwi arno. Ar brydiau codai yn sydyn ar ei draed, gan ddodi ei droed ar y fainc a fyddai o'i flaen, gosod penelin ei fraich ddehau i orphwys ar ben ei lin a'i ên i bwyso ar ei law, heb dynu ei lygaid oddiar y pregethwr. Wrth weled Wil Bryan a minnau ac eraill yn ysgrifenu y testun a phenau y bregeth, deuai awydd mawr ar Seth weithiau i'n hefelychu; a byddai ambell un lled gellweirus yn ei gynnysgaethu â dalen fawr o bapyr gwyn a phensil hir at y pwrpas. A dyna lle byddai Seth y rhan fynychaf yn dal y papyr yn ei law ddehau a'r pensil yn ei law chwith, ac yn dysgwyl yn bryderus am i'r pregethwr gymeryd ei destun; ac yna yn llawn busnes ysgriblai ar y papyr y ffurfiau rhyfeddaf a welodd neb erioed. Ond buan y blinai ar y gwaith hwn, a dychwelai at ei ddull gwreiddiol o syllu yn ddidòr i lygad y pregethwr. Wrth i mi adgofio ei ymddygiadau yn yr addoliad, a chofio hefyd y byddai Seth bob amser yn eistedd yn hollol ar gyfer y pregethwr, yr wyf yn synu na fuasai wedi taflu ambell un oddiar ei echel. Yr oedd rhywbeth yn Seth tebyg iawn i ysbryd addoli. Clywais Marged Tŷ'r capel yn adrodd y byddai Seth y rhan fynychaf yn dysgwyl arni agor drws yr addoldŷ; ac wedi iddi wneyd pobpeth yn barod a throi ei chefn, elai Seth i'r sêt fawr; agorai y Bibl, a gwnai sŵn fel pe buasai yn darllen; yna äi ar ei liniau, a dywedai lawer o rywbeth na wyddai neb, meddai Marged, beth ydoedd, os gwyddai ef ei hun. Ond càn gynted ag y deuai rhywun i mewn i'r capel, cyfeiriai Seth ei gamrau yn ddystaw i'w eisteddle arferol.

Yr oedd Seth a minnau yn gyfeillion mawr; nid am ein bod o gyffelyb feddwl, mi a hyderaf. Pan na adawai fy mam i mi fyned i chwareu, gwelais Seth lawer

gwaith yn sefyllian o gwmpas ein tŷ ni am oriau bwygilydd yn fy nysgwyl. Nis gwn pa beth a barodd iddo gymeryd ataf mor fawr; ond sicr wyf pan welai efe fi yn cael cam gan rai o'r hogiau, y byddai hyny yn ei ofidio yn dost. Pan gofiwyf mor wanaidd ei iechyd oedd, y mae arnaf gywilydd wrth feddwl pa mor fynych y byddai yn geffyl i mi. Pe rhoddid y cwbl at eu gilydd, yr wyf yn sicr iddo fy nghario ar ei gefn ugeiniau o filldiroedd, a hyny yn hollol ddirwgnach. Pan gaffai Seth ddimai neu geiniog, yr hyn a ddygwyddai yn fynych, ymgynghorai â mi bob amser pa beth i wneyd â hi, a fy nghynghor a fyddai yn ddieithriad—ei gwario. Ond y mae yn rhaid i mi brysuro, gan fod genyf rywbeth pwysicach i'w adrodd am fy nghysylltiad âg ef.

Sylwais un diwrnod fod Seth yn edrych yn wael iawn, ac yn pesychu yn dost, ac yn hollol ddifater am chware, er nad oedd efe yn cwyno. Yn wir, ni chlywais ef erioed yn cwyno. Drannoeth ni ddaeth Seth allan o'r tŷ. Y dydd canlynol aethum i edrych am dano, a chefais ef yn llesg glaf yn ei wely. Ar fy mynediad cyntaf i'r ystafell, edrychodd yn wyllt arnaf; yna gloëwodd ei wyneb, estynodd ei law, a gwaeddodd "Rhys!" Ymhen ychydig o fynydau, collodd ei adnābyddiaeth o honof, gan fy ngalw wrth ryw enwau eraill. Siaradai yn ddibaid, ond nid allwn wneyd dim synwyr o'r hyn a ddywedai. Yn ofer y ceisiai ei fam ei gadw yn llonydd. Cyfodai yn ei eistedd yn y gwely, a chyfeiriai â'i fys i gongl wâg o'r ystafell, fel pe buasai yn gweled rhywbeth nad allai ddyweyd beth ydoedd. Yr oedd yr olwg arno wedi fy nychrynu; ac yr oedd fy nghalon bron a thori o gydymdeimlad âg ef, a llithrais yn ddystaw i lawr y grisiau. Yn y gegin cerddai Thomas Bartley yn ol a blaen mewn gofid trwm. Y cwestiwn cyntaf a ofynodd i mi oedd a ddarfu i Seth fy adnabod; a phan atebais yn gadarnhäol, ymlonodd yn fawr. Ond buan y dychwelodd ei brudd-der, a dywedodd, "Mae'r doctor yn deyd, Rhys, fod ffefar arno. Cato pawb! cato pawb! Gofyn i dy fam, 'y ngwas i, weddïo tipyn drosto fo. Cato pawb! be bydawn i yn 'i golli o!" Pe buasai Seth y bachgen mwyaf talentog yn y wlad, nid allasai ei rieni fod mewn mwy o bryder yn ei gylch. Parhaodd fy nghyfaill yn yr un cyflwr am ddyddiau. Ymwelwn âg ef bob dydd—weithiau ddwywaith yn y dydd. Wil Bryan a minnau oeddynt yr unig ddau o'i hen gymdeithion a ganiateid i fyned i'w ystafell. Anfynych y byddai yn ein hadnabod. Nid wyf yn cofio pa un ai yr wythfed ai y nawfed dydd o'i saldra ydoedd, pan ddaeth Wil Bryan i'n tŷ ni yn hwyr ar y nos gyda'r newydd fod Seth wedi "altro," a'i fod yn galw am danaf. Er ei bod ymron yn adeg i mi fyned i'r gwely, cefais ganiatâd gan fy mam i fyned i ymweled âg ef. Ar y ffordd, dywedodd Wil wrthyf, "Mae gen' i ofn, wel di, fod Seth yn myn'd i'w gloewi hi;" wrth yr hyn y golygai fod Seth ar farw. Er fod Wil yn siarad yn y dull hwn, yr oedd efe yn berffaith ddifrifol. Pan gyrhaeddasom y tŷ, cyfarchodd Thomas Bartley ni yn nwyfus, a dywedodd fod Seth yn llawer gwell. Llamodd fy nghalon o lawenydd pan glywais hyn. Aethom yn ddystaw i fyny i'r llofft. Yr oedd yr hen Farbara, a chymydoges iddi, yn eistedd yn ymyl y gwely, ac yn edrych yn ddystaw lawen. "Mae o'n gofyn am danoch er's meityn," ebe y gymydoges wrth Wil a minnau. Gorweddai Seth yn berffaith dawel, gyda gwên siriol ar ei wyneb. Yr oedd hefyd ryw brydferthwch dyeithr yn ei wedd. Buasai un nad oedd yn ei adnabod yn ei gymeryd, cȧn belled ag yr oedd yr olwg arno yn myned, am fachgen deallgar. Tarawyd Wil a minnau â mudandod ymron, gan mor annhebyg iddo ef ei hun yr edrychai. Dylaswn fod wedi sylwi y byddai Seth bob amser yn siarad am dano ei hun yn y trydydd person. Er engraifft, ni ddywedai pan fyddai yn myned i rywle, "Yr wyf yn myned," ond "Y mae Seth yn myn'd i'r fan a'r fan." Ac felly ymhob amgylchiad, siaradai am dano ei hun fel pe buasai yn rhywun arall. Ac yr oeddym ninnau ei gymdeithion wedi mabwysiadu yr un arddull wrth ymddyddan âg ef. Pan aeth Wil a minnau i'r ystafell, Seth, wedi iddo estyn ei law deneu wèn i ni, a'n cyfarch wrth ein henwau, a ofynodd i'w fam a'r gymydoges fyned i lawr i'r gegin, a hwythau a aethant yn union. Pan gawsom yr ystafell i ni ein hunain, gwyrais drosto, a dywedais, "Mae Seth yn well."

"Ydi, mae Seth yn well," atebodd yn floesg.

"Ydi Seth eisio deyd rhwbeth wrth Rhys?" gofynais. Edrychodd arnaf yn siriol, a'r fath wedd ddysglaer a deallgar ar ei wyneb, nes peri i mi gofio am y llygadau y soniais am danynt a welid weithiau yn myned dros ei bryd yn y capel. Yna adroddodd yr adnod a glywswn gannoedd o weithiau o'i enau yn y seiat plant: "Iesu Grist ddoe, heddyw, yr un ac yn dragywydd." Yr oedd rhywbeth yn ei ddull yn ei hadrodd a barai i mi gredu ei bod yn dyfod, nid oddiar ei dafod, ond yn syth o'i galon. Daliai i edrych arnaf fel pe buasai yn dysgwyl i mi ofyn rhywbeth arall iddo, ac ni wyddwn innau pa beth i'w ofyn. Yn y man dywedais wrtho y byddai i Seth fendio yn fuan.

"Na," ebe efe, "Seth ddim mendio. Seth ddim chware eto efo Rhys. Seth ddim myn'd i gapel Abel eto. Seth myn'd i ffwrdd ymhell, ymhell, i—i," a phwyntiai â'i fys i fyny, fel pe buasai yn methu cael gafael ar y gair priodol; ac awgrymais innau y gair "nefoedd;" ond nid dyna oedd y gair a geisiai efe, ac yn y man dywedodd y frawddeg yn llawn:

"Seth myn'd i ffwrdd ymhell, ymhell, i gapel mawr Iesu Grist."

Dyna ydoedd drychfeddwl Seth, druan, am y nefoedd,—"capel mawr Iesu Grist." Yr oeddwn er ys meityn yn clywed Wil Bryan, yr hwn a safai tu ol i mi, yn tynu ei wynt yn gyflym trwy ei ffroenau fel pe buasai wedi cael anwyd. Gwelais, pan oeddwn yn yr ysgol, yr Hen Sowldiwr yn gwneyd cansen yn yfflon ar gefn Wil, ac yntau heb ddyweyd och, na cholli un deigryn; ond yr oedd clywed Seth, ein hen gydymaith diniwed, yn son am farw ac am fyned ymhell, yn fwy nag a allai Wil ei ddal, a "gloewodd hi," chwedl yntau, i lawr y grisiau, gan fy ngadael fy hunan gyda Seth. Wedi i Wil adael yr ystafell, edrychodd Seth o'i gwmpas, a gwelodd nad oedd neb ond ef a minnau yno, ac ebe efe,

"Rhys weddïo."

Deallais ei ddymuniad mewn eiliad, ac ni wyddwn pa beth i'w wneyd. Meddyliwn nad oedd neb i weddïo gyda'r claf ond pregethwr. Dywedodd wrthyf drachefn, gyda mwy o daerni yn ei olwg,

"Rhys weddïo."

Nid allwn ei wrthod; ac yr oedd yn dda genyf erbyn hyn fod Wil wedi myned ymaith, rhag iddo wneyd gwawd o honof ar ol hyny. Aethum ar fy ngliniau yn ymyl ei wely isel, a gweddïais oreu y gallwn. Nid wyf yn cofio yn awr pa eiriau a ddefnyddiais; ond gwn i mi ofyn i Iesu Grist fendio Seth, ac yna aeth yn nos arnaf, a bu raid i mi droi i ddyweyd fy mhader. Pan oeddwn yn gofyn i Iesu Grist fendio fy nghyfaill, gwn fod y weddi yn dyfod o waelod fy nghalon, ac ar yr un pryd teimlwn law deneu ysgafn Seth ar fy mhen. Cadwodd hi yno tra fum yn dyweyd fy mhader. Arosais am dipyn mewn dystawrwydd, i weled a fuasai yn ei thynu ymaith, ond ni wnaeth. Teimlwn hi yn myned i bwyso yn drymach ar fy mhen. Yn fuan teimlwn hi yn myned yn oer, oer, ac aeth ias ryfedd a dyeithr trwy fy holl gyfansoddiad. Symudais ei law yn araf, a chyfodais ar fy nhraed yn grynedig. Yr oedd ei lygaid yn llydan agored, ac yn edrych ymhell, fel y tybiwn i. Siaredais âg ef, ond ni atebodd; gelwais arno eilwaith, ond yr oedd Seth wedi myned yn rhy bell i fy nghlywed. Nid oedd yno ond tŷ gwag, er fod ei ffenestri yn loew a glân. Yr oedd ei enaid diniwed—bu agos i mi ddyweyd dibechod—wedi myned i "ffwrdd ymhell, i gapel mawr Iesu Grist," chwedl yntau.

Pan sylweddolais y ffaith ei fod wedi marw, gwaeddais fel ynfytyn; a'r fynyd nesaf yr oedd ei fam a'i dad a'r gymydoges wrth fy ochr. Ni cheisiaf ddesgrifio yr olygfa, er nad allaf byth ei anghofio. Byddai yn greulondeb ynof geisio darlunio galar gwyllt a dilywodraeth rhieni heb nerth meddyliol na chrefyddol i'w cynnal mewn profedigaeth lem. Prysurais gartref gyda chalon drom. Yr oedd tipyn o ffordd o dŷ Seth i'n tŷ ni, ac yr oedd yn rhaid i mi fyned fy hunan, oblegid yr oedd Wil Bryan wedi myned er ys meityn. Yr oedd yn noswaith leuad-oleu, ac yr oedd yr awyr yn glir, a'r ser yn dysgleirio ac yn ymddangos ymhell iawn. Dychymygwn fod y lloer yn edrych yn ddyfal arnaf, ac fod y ser yn amneidio yn ddibaid. Po fwyaf yr edrychwn arnynt, mwyaf oll y tybiwn eu bod hwythau yn edrych arnaf finnau. Gofynwn i mi fy hun a oedd Seth wedi myned heibio iddynt, neu ar ei ffordd tuag atynt yr oedd efe; pa faint o amser a gymerai iddo fyned i'r nefoedd, ac a fyddai wedi cyrhaeddyd yno cyn i mi gyrhaeddyd gartref, a llu o ofynion cyffelyb. Mae yn rhyfedd genyf adgofio heddyw fod rhywbeth wedi dyfod i fy meddwl y noswaith hono mai pregethwr oeddwn i fod. O ba le y daeth y meddwl, neu pwy a'i hanfonodd, nis gwn; ond yr wyf yn dyddio fy awydd am fod yn bregethwr o'r noswaith hono. Ai llaw Seth y bachgen gwirion ar fy mhen, pan oedd efe yn hongian rhwng deufyd, a'm neillduodd gyntaf i'r gwaith? Yr wyf yn pregethu yn ddigon salw yn fynych, fel y credai llawer pe dywedwn mai hyny a ddarfu.

Ond yr wyf yn crwydro. Yr oedd genyf ddau neu dri o gaeau i fyned drostynt ar fy ffordd gartref. Yr oedd fy llwybr hefyd yn myned gydag ymylon coed y Plâs. Er fy mod yn weddol wrol, ac ystyried nad oeddwn ond hogyn, rhaid i mi addef nad oeddwn heb fy ofnau y noswaith hono. Ond prysurais yn fy mlaen, gan geisio cadw fy ysbryd i fyny. Pan ddaethum at goed y Plâs, gwelwn rywbeth ar ffurf dyn yn eistedd ar y clawdd, yn gymhwys ar ochr y llwybr yr oedd yn rhaid i mi fyned ar hyd-ddo. Petrusais, a dechreuodd fy nghalon guro mor drwm, fel y tybiwn fy mod nid yn unig yn ei theimlo ond yn ei chlywed hefyd. Yr oedd yn hwyr ar y nos, ac yr oedd yn gofyn cymaint o ddewrder i fyned yn ol âg ymlaen. Gelwais ar hyny o wroldeb a feddwn i weithrediad, ac aethum rhag fy mlaen yn gyflym. Wrth i mi nesâu at y dyn, gwelwn fod ganddo ddryll yn ei law, a phen-

derfynais yn fy meddwl mai *keeper* y Plâs ydoedd y dyn, yr hwn a adwaenwn yn dda, ac aeth fy holl ofnau ymaith. Yr oedd y lleuad erbyn hyn tu ol i'r coed, fel nad allwn weled yn eglur; ond pan ddaethum o fewn ychydig o latheni i'r dyn, dywedais â llais uchel, "Nos dawch, Mr. Jones." Atebwyd fi gan lais cras ac annymunol,

"Aros, aros, Rhys Lewis! paid a cherdded mor ffast rhag i ti syrthio ar draws rhai o dy berth'nasau."

Sefais a gwelais mai nid Mr. Jones ydoedd, ac fod ganddo wn dau faril hen ffasiwn yn ei law.

"Paid a dychrynu," ebe fe, "wna i mo dy saethu di *yrwan*, os gwnei di fel y bydda' i yn deyd wrthat ti. Eistedd ar y clawdd yma gael i mi gael siarad hefot ti."

Ufuddheais yn grynedig. Tybiwn y dylaswn adnabod y llais, ond yr oedd ffurf y dyn yn hollol ddyeithr i mi. Ar ol i mi eistedd fel y gorchymynwyd i mi, gosododd y dyn ei ddryll i orwedd ar y clawdd, ac mor agos ataf fel yr oeddwn yn gallu gweled y ddwy gapsen felen yn pelydru. Cyn dyweyd gair arall, llwythodd y dyn ei bibell, a goleuodd fatsen. Pan oedd yn rhoi tân ar ei bibell, a phan ddaeth fflam y fatsen i dywynu ar ei wyneb, adnabyddais ef; a bu agos i mi lewygu gan ofn. Adwaenais yn ei wyneb hagr a milain y dyn budr a drwg, yr hwn a welswn yn dyfod i'n tŷ ni yn hwyr ar y nos flynyddau lawer yn ol, a'r hwn a alwn i y pryd hyny "y Gwyddel." Yr oedd cryn gyfnewidiad wedi cymeryd lle ynddo oddiar yr amser y gwelswn ef gyntaf; ymddangosai yn gryfach o lawer. Dechreuodd fy holi yn fanwl ac awdurdodol am fy mam a Bob, ac yn enwedig am ŵr y Plâs a'r *keepers*. Nid atteliais ddim oddiwrtho; oblegid yr oeddwn yn ei ofni yn gymaint nes oedd fy nillad yn glynu yn fy nghnawd gan chwys oer, ac ymddangosai yntau yn cael difyrwch mawr wrth fy ngweled mor ofnus. Cadwodd fi yno yn hir, a gollyngodd ambell i air allan a agorodd fy llygaid i hanes fy nheulu. Yr oedd genyf fy ammheuon o'r blaen; ond yn awr gwelwn y cyfan yn eglur. Yr oedd y Gwyddel, canys wrth yr enw hwnw yr adwaenwn ef, yn brysur yn fy holi ac yn siarad, pryd ar ganol brawddeg yr arosodd yn sydyn. Gafaelodd yn ei ddryll, a thynodd ei getyn o'i safn gan wrando yn ddyfal. Yr oedd y dystawrwydd yn llethol i mi. Yn y fynyd tynodd yn nerthol at ei bibell, fel pe buasai yn ofni i'r tân fyned allan, a gwrandawodd yn astud eilwaith. Dychymygwn glywed sŵn traed yn cerdded yn gyflym ar hyd y llwybr y daethwn i ar hyd-ddo. Tynodd y Gwyddel ei het yn dŷn am ei ben, ac yna clywn rywun heb fod ymhell yn chwibianu yn isel ac arwyddocäol. Heb ddyweyd un gair, neidiodd fy nghydymaith dyeithr ar ei draed, a llamodd dros y gwrych i'r coed. Yr un foment yr oeddwn innau fel carw dychrynedig yn difodi y pellder oedd rhwng y fan a'n tŷ ni. Prin y gallasai bwled fy ngoddiweddyd. Pan gyrhaeddais y brif-ffordd, arosais i gymeryd fy ngwynt, a chlywn ergyd, ac un arall, a gwaeddi, a chynhwrf. Ac aethum yn fy mlaen yn gyflym; ac yn union deg cyfarfum â fy mrawd Bob yn dyfod i ymofyn am danaf, ac adroddais iddo yn fyr yr helynt. Rhoddodd yntau siars i mi beidio sôn gair wrth fy mam na neb arall; ac ychwanegodd fod yr amser wedi dyfod i mi gael gwybod yr hyn oedd wedi ei gadw oddiwrthyf hyd yn awr, ac yr adroddai y cyfan i mi wedi i ni fyned i'r gwely. Cyflawnodd ei addewid a chyflawnais innau ei orchymyn, ac ni soniais air wrth neb hyd y dydd hwn am yr hyn a gymerodd le y noswaith hono wrth goed y Plâs.

Onid priodol y dywedais fod Seth wedi bod yn achlysur i ffurfio cyfnod yn fy hanes? Gymaint mwy oeddwn yn ei wybod fore dranoeth am fy nheulu; a gadewch i mi obeithio, gymaint gwell bachgen oeddwn!

*Diwedd y Rhan Flaenaf.*

---

METHODISTIAETH YN EDEYRNION.

*(Parhâd o tu dalen 424.)*

BYDDAI cyrchu o'r Bala trwy Glanrafon i Gorwen; a byddai hyny yn fantais at gael rhywrai i bregethu wrth fyned o'r naill le i'r llall. Ar y ffordd wrth fyned i Gorwen y mae y Green, lle y bu yr Ysgol Sabbothol am flynyddoedd lawer, ac ambell bregeth yn achlysurol. Dywedir fod Mr. Charles a Dafydd Cadwalader wedi cael eu lluchio â thywyrch yno. Cafwyd yno aml i gyfarfod hapus; ond nid oes dim o'r hen fwthyn ar gael yn awr namyn y lle y bu.

Y lle nesaf a ddaw dan sylw ydyw Corwen. Tref ydyw hi sydd wedi ei chodi yn uchel mewn breintiau. Bu yr hen frodyr yno yn flaenllaw gyda'r achos goreu, gan adael etifeddiaethau ar eu hol. Rhaid i'r cyfeillion yno yn awr ymddeffro ati, ac onidê hwy a fyddant yn sicr o golli eu safle yn y dref, pan y mae cymaint o gydymgais enwadol yn bod. Y mae gwaith mawr wedi ei wneyd yn Nghorwen, ond nid heb wrthwynebiadau mawrion. Adroddir fod Corwen wedi ennill hynodrwydd trwy dori dannedd yr enwog Charles o'r

Bala, a lluchio amryw eraill, yn eu casineb at yr efengyl. Ond er pob croesineb, ymlaen y mae'r gwaith da wedi myned. Dechreuwyd yr Ysgol Sabbothol yno trwy annogaeth Mr. Charles tua'r flwyddyn 1798; a bu y llafur gyda'r Ysgol yn foddion cynnydd i'r holl achos crefyddol mewn modd amlwg, er cyfarfod âg erlidigaethau ar y cyntaf.

Elfen arall a fu yn fendithiol i'r achos yn ei gychwyniad ydoedd yr Ysgolion Cylchynol a sefydlwyd gan Mr. Charles. Gofalodd am ysgol felly yn Nghorwen, gan anfon yno ysgolfeistr. Ymhen ysbaid cafwyd yno flaenoriaid rhagorol, ac yn enwedig Mr. Robert Evans, Bronwynedd. Codwyd yma hefyd bregethwr tra enwog dros ryw dymmor; ond machludodd ei haul cyn prydnawn. Aeth dan draed y ddiod feddwol, ac nid yn hapus y cyfarfu â'i ddiwedd. Tua'r un adeg â thymmor y gŵr hwnw y daeth i'r golwg un o'r dynion goreu a welodd Edeyrnion erioed, sef Mr. Evan Evans, Ty'nycefn. Ni raid petruso dim wrth ddyweyd, na chododd yn yr ardaloedd hyn neb o'i ragorach. Yr oedd yn meddu ar ddawn tu hwnt i'r cyffredin, a duwioldeb diammheuol.

Bu y cyfeillion yn Nghorwen o'r dechre yn ffyddlawn a diwyd gyda'r genadaeth fwyaf cartrefol. Ffrwyth eu llafurwaith hwy ydyw yr eglwysi sydd yn Ngwyddelwern, Llansantffraid, ac Ucheldref. Sefydlwyd Ysgol Sabbothol yn Rhos Bonwn; a'r bregeth gyntaf a bregethwyd yno gan Mr. Edward Price, Caregbig y pryd hyny, ond yn ddiweddar o Birmingham, ac yn awr o Upper Bangor. Bob yn ychydig cafwyd lle yn y Llan; ac o Gorwen anfonwyd Robert Evans i gynnorthwyo gyda'r achos da, fel erbyn heddyw fod yno eglwys liosog a llawer yn gwrando. Gyda golwg ar Lansantffraid, bu cyfeillion Corwen yn llafurus iawn. Byddent yn anfon dau frawd yno bob yn ail am ddau fis i gynnal Ysgol Sabbothol, gan eu newid felly yn gyson; a chafwyd pregethu yn achlysurol. Bu pregethu mewn lle o'r enw Bronenion. Clywais Mr. Morris Roberts, yn ddiweddar o'r America, yn pregethu yno. Cafwyd lle yn Tanycoed i bregethu yn gyson nes y cafwyd y capel. Gŵr o'r enw Robert Roberts, a Margaret ei wraig, oedd yno yn byw, yr hon oedd wraig grefyddol tu hwnt i'r cyffredin. Bu hi yn swcwr i'r achos yn ei wendid. Pan y byddid yn cael ambell gyfarfod eglwysig, byddai y fam hon yn Israel yn arfer cynghori fel blaenor neu bregethwr, yn wresog a medrus. Rhyfedd y fath gyfnewidiad sydd yno erbyn hyn! Nid oedd y pryd hwnw ond pedwar âg enw Methodistiaid arnynt yr ochr hono i'r afon Dyfrdwy. Yr oedd ar y pryd frodyr yn Bonwn; a bu gwneyd capel megys bywyd o feirw i'r achos mawr; a daeth y lle yn fuan i allu cerdded ei hunan, heb help o Gorwen. Mae yn wir mai Cyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd a ymgymerodd âg adeiladu y capel, a bu am ychydig dan ei nawdd uniongyrchol. Adeiladwyd un arall yn Glyndyfrdwy; a buont yn daith Sabboth gyda'u gilydd ynghyd a Rhoseinwa, yr hwn le oedd o dan nawdd Cyfarfod Misol Sir Fflint. Bu y ddyled oedd ar gapel Llansantffraid yn dipyn o faich ar feddwl rhai brodyr; ond dywedai Richard Jones o'r Bala mai yr arfer wrth briodi oedd cymeryd y ddyled a'r cwbl. Ond trwy y cwbl, yn ei flaen yr oedd y gwaith da yn myned. Yr oedd cyfeillion o Fryneglwys wedi sefydlu achos bychan mewn tŷ annedd yn yr ardal cyn hyn, a hyny yn benaf trwy y pregethwr serchog Mr. John Williams, gynt o Goedrwg, ac wedi hyny o Lansilin. Cafodd y cyfeillion yn Rhos gymhorth da oddiwrth bobl Llandynan a Bryneglwys; a bu dyfodiad Mr. Ellis Roberts i fyw i'r Rhos yn adgyfnerthiad i'r achos. Byddent yn cael gweinidogaeth brodyr o Langollen yn benaf, sef Mri. John Hughes a John Edwards, gyda Mr. Daniel Roberts o Fryneglwys, wedi hyny o'r Lodge. Adeg i'w chofio ydoedd yr adeg pan yr oedd y lle hwn dan nawdd cyfeillion Sir Fflint, cyn bod achos yn Glyndyfrdwy na Llansantffraid. Gwelwyd cyfarfod pregethu ar fuarth Tycerrig nad â yn anghof, pryd yr oedd Mr. Abraham Jones o Lanfyllin, a Mr. Robert Williams o Aberdyfi wedi hyny, a Mr. John Jones o Gaergwrle, yn pregethu, ac y cafwyd oedfäon nerthol iawn. Adroddir y bu yr achos yn fwy addawol cyn hyn, ond fod y cyfle wedi ei golli rywfodd, o ddiffyg gwneyd defnydd o'r fantais a fuasai ganddynt. Bu yr enwog John Elias yn pregethu yno yn yr awyr agored, pryd yr oedd llawer iawn yn gwrandaw arno. Pe buasid yn gafaelu o ddifrif yn y cyfle y pryd hwnw, buasai y gwaith gyda ni ymhellach ymlaen. Ond daeth brodyr eraill ymlaen i wneyd defnydd o'r parodrwydd oedd wedi ei feithrin i dderbyn yr efengyl. Yr hyn a fu yn enyniad i Fethodistiaeth yn Nglyndyfrdwy oedd dyfodiad Mr. John Davies o Bontcysyllte yno i fyw. Bu efe yn ffyddlawn tu hwnt i'r cyffredin. Cafwyd capelau yn Llansantffraid a Glyndyfrdwy. Byddai John Davies yn cadw thri chyfarfod eglwysig bob wythnos am amser maith. Gwnaeth ei oreu ymhob modd hyd nes yr ymfudodd i'r America. Trwy ei lafur a'i ymroad ef y cafwyd y capel yn Nglyndyfrdwy. Erbyn heddyw y mae gwedd pethau wedi newid, a'r achos yn y Rhos wedi ei gysylltu â Glyndyfrdwy. Mae yn amlwg y bu cyfeillion Sir Fflint yn ffydd-

lawn iawn gyda golwg ar y daith hon; ac erbyn hyn y mae yr achos mewn gwêdd hynod lewyrchus.

Ar ol i Lansantffraid fyned yn daith gyda Glyndyfrdwy, yr oedd cyfeillion Corwen wedi troi tua'r Ucheldref, i ddechre cadw Ysgol Sabbothol; a bu hono yn symudol ar hyd y gymydogaeth—yn y Gategoch, Moeladen, a Threddôl. O'r diwedd cafwyd lle yn yr Ucheldref, gan ŵr o'r enw Mr. Ellis Jones, i gadw yr Ysgol, a cheid yno ambell bregeth. Cafwyd y lle yn rhad ganddo ef tra y bu yno; a bu y lle yn gartref i'r achos am tua 45 o flynyddoedd. Erbyn hyn y mae yno gapel a thŷ yn y gymydogaeth, a'r achos yn fyw er cyfarfod â gwrthwynebiadau mawrion, y fath nad oes son am eu tebyg yn unman. Nid peth dymunol i neb ydyw bod dan y cyfrifoldeb ynglŷn â'r brofedigaeth chwerw a gyfarfu caredigion Methodistiaeth yn y lle. Ond er y cwbl, wele yr achos da yn fyw; ac y mae yn sicr o fyw pan y bydd ei wrthwynebwyr wedi darfod am danynt.

Y mae yn syndod y fath gyfnewidiad sydd erbyn hyn wrth gyferbynu y tai addoliad y pryd hwnw â'r hyn ydynt yn awr. Y gwahaniaeth mawr sydd rhwng y caban yn Mynyllod, Rhosisa, yn Llandrillo, Cerygllwydion, yn Nghynwyd, y Gelli dywyll, yn Glan'rafon, a'r Green hefyd, a'r holl fanau lle y cynnullent gynt! a'r ychydig ffyddloniaid a ymgasglent at eu gilydd gan mwyaf yn bobl dlodion. Ydyw, y mae yr olwg yn wahanol iawn, mewn ystyr allanol neu weledig; ac y mae nifer yr addoldai yn gymaint â deg mewn nifer yr ochr yma i'r mynydd, a'r rhan fwyaf o honynt bron yn newyddion; ac am y mwyaf hynafol o honynt, ni chysylltir yr ansoddair 'mawr' â'r un adeilad yn y lle ond efe. Ac yn yr ochr draw i'r mynydd, cawn yno bump o addoldai.

Rhyfedd gymaint o waith sydd wedi ei wneyd o'r dechre, a hwnw yn gwbl yn llafur cariad! Gwnaed o'r dechre gymaint âg wyth ar hugain o gapelydd yn y dosbarth; ac felly y wreichionen fechan a welwyd ymhen y mynydd wedi tanio yr holl fro. Gobeithiwn a gweddïwn am i'r un hael Ysbryd a'i cychwynodd barhâu i'n cynnorthwyo i fyned ymlaen, ac y bydd iddo eto godi llawer o ddynion ffyddlawn a doeth yn ein plith. Gwnaed llawer o waith trwy y blaenoriaid a godwyd yn y dosbarth. Gwelwyd yma nifer y bydd eu henwau yn berarogl am oesau. Gellid enwi heblaw Evan Evans, Ty'nycefn, Richard Morris, o Lanarmon, a John William o Gynwyd, ac amryw eraill a fu yn weithgar a zelog. Y mae fod yr Arglwydd wedi codi dynion at y gwaith yn brawf mai ei waith ef ydyw. Nid rhaid myned ymhell yn ol pryd nad oedd yr un Methodist yn yr holl fro; ond erbyn heddyw y mae yn y dosbarth, nad yw yn boblog, dros saith cant a hanner. A chymeryd yr ochr arall i'r mynydd i mewn, y mae yn perthyn i Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd tua dau gant a hanner o Fethodistiaid, ac yn rhywle tua chwech a deugain o flaenoriaid. Ac y mae yma erbyn hyn gynifer âg wyth yn weinidogion a thri yn bregethwyr. Gellir dyweyd, "Mor gadarn y cynnyddodd gair yr Arglwydd!" Dybenaf gan ddeisyf, "Dymunwch heddwch Jerusalem; llwydded y rhai a'th hoffant. A bydded tangnefedd ar Israel.'

ROBERT EDWARDS.

*Cynwyd.*

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

2 BRENHINOEDD iv. 3: "Dôs, cais i ti lestri oddi allan gan dy holl gymydogion, sef llestri gweigion nid ychydig."

YR oedd raid ceisio y llestri gweigion er mwyn eu llenwi? A pha beth? Allan o'r unig ystenaid o olew oedd gan wraig weddw un o feibion y prophwydi heb ei defnyddio. "Beth a elli di wneyd i fy helpio?" oedd ystyr llef y wraig ar Eliseus y prophwyd. "Beth sydd genyt ti tuag at dy helpio dy hun?" oedd ystyr ei atebiad ef; ac efe a'i cyfarwyddodd hi at yr ystenaid o olew oedd ganddi mewn llaw fel y rhedle ar hyd pa un y dylifai y drugaredd yr oedd arni ei heisieu.

A dyma yr unig ateb a ddyry Duw yn fynych i'n gweddïau mwyaf cynhyrfiol ni. "Beth a wnei di i'm helpio?" ni a ofynwn; a'i unig ateb ef a fydd, "Gwna ddefnydd o'r gras, o'r dalent, a feddi, ond a esgeulusir genyt." Dyna y gyfrinach am lawer bywyd ysbrydol sydd yn dlawd, egwan, a than gwmwl. Dyna ddysgybl yn rhodio'r cylch o ordinhadau Duw; ydyw, y mae efe yn gweddïo, ac eto y mae ei enaid yn gul a gwan ac oer. Paham? Am ei fod yn anwybyddu yr unig ffordd ymha un y gall Duw anfon y bendithion a geisir ganddo, sef yn cadw'r dawn neu'r gras sydd ganddo yn ddiymarferiad. Nes rhoi hwnw ar waith, nis gall y fendith fwy ffrydio hyd ato. A oes genyt ddawn ymadrodd? Hyd oni chysegri hyny i wasanaeth Crist, yr wyt yn dal yn ol dy

drugar dd dy hun. A oes genyt feddwl cyfaiwydd yn ngair Duw—deall am ffordd iachawdwriaeth? Cais dywallt hyny i galon sydd fwy gwag na'r eiddot dy hun; ac wrth wneyd felly, ti a dderbyni y trugareddau neillduol y llefaist am danynt. O y llestri gweigion hyn! gynifer o honynt sydd ymhob calon! Ni a ddygwn ryw un gallu neu amcan bychan at ffynnon gras, ac yna a synwn pa fodd y mae rhyw ddysgybl arall yn meddu ymddiried mwy, heddwch mwy, gorfoledd mwy yn Nuw nag sydd genym ni. Mae y rheswm ar y wyneb: dwyn mwy o lestri gweigion na nyni i'w llenwi a ddarfu efe. Yn ol y mesur yr ydym yn cysegru ein doniau y cyfoethogir ein calonau a'n bywydau â bendith Duw. A pha gymaint o lestri gweigion sydd o'n hamgylch! calonau yn wag o obaith yn Nuw—calonau wedi eu llanw yn unig â chysgodion, y rhai, wrth ddyfod ac ymysgwyd ac ehedeg ymaith, a allant roddi drychiolaeth o bleser, ond nas gallant byth adael bendith a bery. A meddwl y gallai llawer o'r llestri gweigion hyn gael eu llenwi â'r gras Duw a roddwyd yn dy galon di, gristion! yn ddiau dyna feddwl a ddylai dy gadw yn agos at Iesu Grist, rhag i'w esiampl ef golli ei grym ar dy fywyd di dy hun. Cofia yr amcan er mwyn pa un y rhodded gras i ti: "er llesâd"—i lenwi llestri gweigion lle bynag y ceir hwy. Dyma wyrth fawr gras: po fwyaf a rydd mwyaf a gais.

Ond sylwch beth yw cyfrinach pob bendith: *ffydd*,—ffydd yn gyntaf, ffydd yn ddiweddaf, ffydd dros y cwbl. Yr oedd raid fod gan y weddw hon ffydd fawr. Beth! benthyca cynifer o lestri gweigion i'w llanw o un ystenaid fechan? Yr oedd y peth yn anmhosibl. Wel, oedd, ac *am hyny* yr oedd yn debycach y byddai iddo gael ei wneyd! Yn ngwlad yr anmhosibl y mae ffydd yn fwyaf cartrefol. Mae gan ffydd eirlyfr o'r eiddi ei hun; ac y mae ei deffiniadau yn rhedeg fel hyn: "*Anhawsder*,—rhywbeth i'w orchfygu: *Rhwystr*,—peth i'n rhwyddhâu ymlaen ar ein ffordd: *Anmhosibl*,—yr hyn sydd yn fwyaf sicr o gael ei gyflawni." Y pryd y mae Rheswm yn syrthio, y mae Ffydd yn ehedeg. Mae hi yn dyfod o hinsawdd gwahanol i'r byd hwn; canys y mae ffydd o Dduw; a phan y galloch chwi fesur ei allu ef, y pryd hwnw, ac nid yn gynt, y gallwch chwi osod terfyn i ffydd.

Ond dealler am le neillduol gallu ffydd: nid yn agored, nid yn y cyhoedd, nid yn sêdd dysg, nid yn y pulpud, ond yn y dirgel. "Cau y drws arnat." Onid dyma y ddammeg a draetha Duw flwyddyn ar ol blwyddyn? Wedi i'r hydref ddyfod, c i'r ffrwythau syrthio, a'r dail wywo a chrino a marw, a'r canghenau edrych yn noethlwm, a'r nosweithiau fyned yn hirion, ac adar y gân wedi ffoi ymaith, yna y dywed yr Arglwydd wrth Natur, "Dos i'th ystafell, a chau y drws;" ac efe a'i tynhâ yn ddiogel, â barau o ia a chloion o eira. Yna yn ddirgel, allan o olwg dyn, heb sŵn morthwyl nac un arf, y mae'r gwaith rhyfedd yn myned ymlaen, yr hwn sydd i adnewyddu wyneb y ddaear. A phan ddêl y tymmor gwanwyn, Duw a dŷr folltau yr ia, ac a dawdd gloion yr eira, ac a eilw ar Natur i ddyfod allan; ac wele, wrth ei throediad mae yr hadau meirwon yn ymfywhâu, wrth ei hanadl y mae'r canghenau noethion yn dechre blaguro, wrth ei hedrychiad y mae pob gwyrddlesni yn ymysgwyd i fywyd, ac wrth ei llais y mae adar y gân yn dychwelyd. Felly y mae gyda'r ffydd sydd yn tynu ei grym oddiwrth gymdeithas ddirgel â Duw. Yno, yno yn unig, y ceir y grym; o le y weddi ddirgel y mae ffydd yn derbyn bendith ar fendith oddiwrth yr Hwn sydd, ar ol gweled a chlywed yn y dirgel, yn talu yn yr amlwg.

Dechre dithau yno, gyfaill, os byth y gobeithi am lenwi y llestri gweigion sydd yn dy galon dy hun, neu i'w cael o'th amgylch. Dechre yno, athraw, er mwyn dy ddosbarth; dechre yno, weinidog, er mwyn dy bobl. Esgeulusa weddi ddirgel, ac ofer yr edrychi am weithredoedd a ffrwythau ffydd.—*Y Parch. J. Reid Howatt.*

---

PREGETHWR iv. 8: "Y mae un yn unig, ac heb ail; ïe, nid oes iddo na mab na brawd; ac eto nid oes diwedd ar ei lafur ef; ïe, ni chaiff ei lygaid ddigon o gyfoeth;—ni ddywed efe, I bwy yr ydwyf yn llafurio, ac yn difuddio fy enaid oddiwrth hyfrydwch? Hyn hefyd sydd wagedd, a dyma drafferth flin."

DYMA ddesgrifiad sydd, er yn fyr, yn hynod ddarluniadol o ofalusrwydd ac awchusrwydd cybydd mewn unigedd yn llafurio, crafangu, a phentyru. "Y mae un yn unig," ar ei ben ei hun, "ac heb ail," heb edlin (*heir apparent*), heb neb mewn cysylltiad âg ef, na thrwy waed na thrwy gyfeillgarwch neillduol, i'w olynu. "Nid oes iddo na mab na brawd," yr un perthynas agos i etifeddu ei drysorau casgledig. "Ac eto nid oes diwedd ar ei lafur ef;" mae yn trafferthu gyda phryder didòr, bore-godi a myned yn hwyr i gysgu, heb allu dyoddef y meddwl i roddi i fyny ei alwedigaeth neu fasnach cyhyd ag y gallo ychwanegu un geiniog at ei ystôr. "Ië, ni chaiff ei lygaid ddigon o gyfoeth;" o hyd naill ai yn myfyrsyllu ar ei ennillion, neu yn edrych allan yn awyddus am chwaneg, heb byth ddywedyd, Digon; yn

dderbyniwr gwancus, ond yn rhoddwr anewyllysgar a chrintachlyd. Nid yw yn cymeryd dim mwynhâd o'i gyfoeth, ond yn hanner-newynu yn nghanol helaethrwydd; nid yn unig mewn "llafur," ond "yn difuddio ei enaid oddiwrth hyfrydwch;" yn byw gyda'r cynnildeb mwyaf truenus; yn edrych yn rwgnachlyd a gwarafunus ar bob tamaid o fwyd, pob carp o wisgiad, a phob cysur cyffredin bywyd, iddo ei hun. Ac y mae yr arfer yn cryfhâu arno; mae yn myned yn fwy-fwy cybyddlyd fel y mae yn myned rhagddo mewn cyfoeth ac mewn blynyddoedd; nis gall un ystyriaeth hunangar ei gynhyrfu, nac un anghenrhaid am haelioni fyned at ei enaid; mae ei lygad pantiog yn rhoddi edrychiad o ddrwgdyb sefydlog, a'i holl wynebpryd yn arddangos pryder a chulni dideimlad; ac y mae ei gyfansoddiad gwasgedig, ei ddillad henafol a digotwm, a'i holl ymddangosiad, yn bradychu y cybydd nas gall neb na dim effeitbio arno. Bu y rhai a roisant arno yn gyntaf yr enw (Seisonig) MISER yn ffodus yn eu dewisiad o'r gair. Mae *miser* yn arwyddo truenus; ac yn ddiau nid oes ar y ddaear yr un gwrthddrych mwy gresynus na'r neb a ddesgrifir yma.

Mae darluniad Solomon yn dangos i ni fod cybyddion ymhob oes yn debyg i'w gilydd. Mae y cymeriad hwn yn amrywio yn ei darddiad. Mewn rhai engreifftiau, mae wedi tarddu oddiar gyfeiliornad andwyol mewn dygiad i fyny,—gwersi boreuol ac amryfus o gynnildeb gormodol yn cael eu gwasgu ar y meddwl ieuanc, ac yn raddol yn ffurfio ariangarwch yn y galon, awyddfryd am ennill, arswyd rhag colli, neu fod dan yr anghenrheidrwydd o gyfranu. Mewn achosion eraill, mae wedi tarddu oddiar ragdybiaeth ac ofn meddwl afiach,—darogann yn bruddglwyfus fod tlodi yn dynesu, ac y bydd raid marw mewn eisieu; a dychymygir fod pob ceiniog a gollir neu yr ymadewir â hi yn prysuro y drwg a ofnir. Mewn eraill, y mae yn tarddu oddiar y gwagedd gwanfeddwl am gael ennill sylw a bod yn destun siarad, yn ystod bywyd ac ar ol marw, fel perchenog hyn a hyn o gyfoeth, neu fel y gŵr a'i gadawodd ar ei ol. O ba wreiddyn bynag y mae wedi codi, a pha beth bynag a ddŷg ymlaen ei gynnydd, iawn ei gelwir yn "wagedd a thrafferth flin." Mae yr ynfytyn cyfoethog tlawd, yn byw yn druenus, ac yn marw heb neb yn galaru ar ei ol. I bwy bynag y gedy ef ei gyfoeth, ni roddant iddo ond diolch bychan am dano. Efe a'i rhoddodd yn unig pan nas gallasai ei gadw yn hwy. Nid ei roddi ymaith a wnaeth, ond dan orfod i'w adael yr oedd; a gwyddant yn dda na buasent hwy yn cael cyffwrdd â ffyrling o hono pe buasai yn bosibl iddo ef ei ddal yn ei feddiant. Llawenhânt am fod yr hen greadur diddaioni wedi ei gymeryd oddiar y ffordd; rhoddant ef yn y pridd heb un ochenaid; a chyda mawr foddhâd y meddiannant y crûg a ystoriodd.—*Dr. Wardlaw.*

---

LUC iii. 16: "Y mae un cryfach na myfi yn dyfod, yr hwn nid wyf fi deilwng i ddattod carrai ei esgidiau."

ESGIDIAU yr Iuddewon oedd sandalau, y rhai nad oeddynt ddim ond gwadnau, a chareïau yn eu rhwymo wrth y traed. Pan y cymerid ymaith y sandalau, gwaith priodol y gwasanaethyddion, a'r iselaf o'r rhai hyny, oedd dattod y careïau, i'w cael yn rhydd. At y swydd isel hon y mae Ioan yn cyfeirio yma, fel pe yn dywedyd, Nid wyf fi deilwng i wneyd y gorchwyl gwaelaf, salwaf, i'r Messïah; gwas bach wyf fi iddo ef. Wedi dattod a thynu ymaith y sandalau, yna golchid y traed, i symud y budreddi nas gallasai y cyfryw wadnau mo'i gadw ymaith, ac eneinid hwy âg olew i wrthweithio effeithiau niweidiol y gwrês.

---

# Barddoniaeth.

## MYDRIAD NEWYDD O'R GANFED SALM.

O CENWCH yn llafar i'r Arglwydd
  Bawb oll o breswylwyr y byd;
Gwas'naethwch ef gyda llawenydd,
  O'i flaen ef â chân de'wch i gyd:
Gwybyddwch mai 'r Arglwydd sydd Frenin,
  Efe yw ein Crëwr a'n Duw;
Nid eiddom ein hunain mo honom,
  Efe sy 'n ein cadw yn fyw.

Cydgesglwch i'w byrth ef â diolch,
  A mawl i'w gynteddau nesêwch;
Diolchwch o hyd am ei ddoniau—
  Yn canmol ei enw na thewch;
O herwydd daionus yw 'r Arglwydd,
  Ni phalla 'i drugaredd ef byth;
A'i ddwyfol wirionedd a erys,—
  Byth bythoedd y pery 'n ddilyth.

T. BANGOR.

---

## PROFIAD CRISTION

*Yn ei Gariad Cyntaf, yn ei Wrthgiliad, ac yn ei Adferiad.*

PAN oeddwn flinedig dan faich oedd yn drwm,
Yn adyn truenus, yn dlawd ac yn llwm,
Canfyddais yn eglur dan hoelion ar y groes,
Fy Meichia yn talu holl filiau fy oes.

O'i wydd ef oedd waedlyd, fe hyrddiwyd fy mhŵn
I ddyfnder na welir ef bythol, mi wn;
Rhyddhäwyd fy enaid, darfyddodd fy mhoen,
Yn llawen y cenais am aberth yr Oen.

Cês wledda yn ddibrin ar haeddiant yr Oen,
Yr haeddiant ennillodd trwy ddyoddef mawr boen;
Addolais, moliennais fy Arglwydd a'm Duw,
A theimlais awyddfryd i'w foli tra 'n fyw.

Ond O, mi a droais fy llygaid yn awr
At bethau gaethiwodd fy meddwl yn fawr
I'w llewyrch a'u mwyniant, tra 'n iraidd eu bryd,
Dan heulwen dymmorol dra bywiol i'r byd.

Ond deuodd oer wyntoedd, newidiodd eu gwedd,
A chaddug tew-dduawl fu iddynt yn fedd;
Pan gefais fy siomi am gysur a budd,
Mi droais oddiwrthynt â'm calon yn brudd.

Ac eilwaith cychwynais yn ol tua 'r de,
I'r llanerch y cefais ymweliad o'r ne',
Gan dybio am enyd y byddai 'r un wedd
Ar hono a'r adeg y cefais gynt hedd;

Gan ddysgwyl cael gweled y Person a fu
Yn bobpeth fuasai i'm henaid yn gu;
Ond wele, i'm gofid, dywyllwch yn toi
Y fan yr ynfydais oddiwrtho ef droi.

Ac wele o'r t'w'llwch wrthddrychau yn d'od,
O'r tremiad erchyllaf, a duaf sy 'n bod,
Gan drefnu eu saethau yn erbyn rhyw un,
A gwelais i'm dychryn mai fi oedd y dyn.

Dynesu yr oeddynt yn ëofn a rhwydd,
A minnau heb loches i ddianc o'u gŵydd;
Ond pan oedd fy enaid dan ddychryn a loes,
Adgofiais yn sydyn am haeddiant y groes.

Tywelltais o'm calon addefiad o'm bai
Yn troi at ynfydrwydd o'r golud didrai;
Erfyniais faddeuant trwy haeddiant y Gŵr
A gafodd fy enaid aml droion yn dŵr.

Tra 'r oeddwn yn llefain o'r dyfnder ar Dduw,
Yn enw 'r Hwn gododd o farw yn fyw,
Agorodd y nefoedd! ac wele ryw Un
Yn chwimwth ddynesu â'i gledd ar ei glûn.

Os agos gelynion, agosach cryf Wr;
Cyn teimlo picellau, ces ddianc i dŵr;
Diangodd pob gelyn—goleuwyd y lle
Fu gynt yn dywyllwch gan Haul mawr y ne'.

I'r Hwn a'm hachubodd rhag myned ar goll
Y rhoddaf fy nghalon, fy nerth, a fy oll;
O Berson grasusol, haeddiannol o glod,
Ei enw a folaf tra byddaf yn bod.

DAVID EDWARDS.

*Glan'rafon, Corwen.*

# Bwrdd y Golygydd.

## FFURFLYWODRAETH EGLWYSIG.

BARCHEDIG SYR,—

Yn y *Dysgedydd* am y mis hwn (Tachwedd), ceir traethawd ar "Y Gweinidog a'r Diacon Cynnulleidfäol." Ac yn hwnw dywed yr ysgrifenydd,—

"Yn yr anerchiad a draddododd y Parch G. Parry, Aberystwyth, yn Nghymdeithasfa Dowlais, dywed nad oes dim yn yr *Actau* a'r *Epistolau* yn penderfynu ffurflywodraeth yr eglwys Gristionogol. Nid yw yn hòni fod tir ysgrythyrol i'r gyfundrefn Fethodistaidd, ac y mae yn tueddu i gondemnio y sawl a hònant fod y fath beth âg '*Ecclesiastical Polity*' yn y Testament Newydd; a dywed yn eglur ddigon fod llwyddiant dyfodol Methodistiaeth yn dibynu ar foddu digon o ystwythder i ymostwng i amgylchiadau yr amseroedd. Nid ydym yn gallu cydsynio â'r golygiad hwn, oblegid y mae yn arwain i'r penrhyddid mwyaf peryglus. Os mai mater o opiniwn ydyw ffurflywodraeth eglwysig, yna nid oes genym un sicrwydd o gwbl pa ffurf a gymer, oblegid nid ydyw pawb yn agos o'r un farn beth sydd oreu i ateb gofynion yr oes. Nid ydyw y ffurf Babyddol ond tyfiant graddol i gyfarfod amgylchiadau yr amseroedd; ac yn ol syniad yr anerchiad y cyfeiriwn ato, y mae gan Babyddiaeth yr un cymaint o sail ysgrythyrol i fodoli ag sydd gan Fethodistiaeth. . . . . Gallem feddwl, wrth ystyried dysgeidiaeth y Testament Newydd ar y mater hwn, fod yn anhawdd peidio canfod fod egwyddorion hanfodol ffurflywodraeth yr eglwys Gristionogol yn cael eu dysgu yn amlwg. Yn wir, cydnebydd y Parch. G. Parry fod ychydig o egwyddorion mawr yn cael eu dysgu, ond ar yr un pryd hòna nad oes bwys neillduol yn y ffurf eglwysig. Ond ymddengys i ni fod llawer o bwys yn y ffurf a roddir i egwyddorion mawr; oblegid y mae hanes yr egwyddorion yn eglur ddangos fod yn bosibl lladd nerth a daioni y cyfryw egwyddorion drwy eu rhoi mewn ffurf anmhriodol."

Mae yn debyg na ddarllenodd yr ysgrifenydd sylwadau y diweddar Barch. John Hughes o Liverpool ar y mater hwn, yn y Drydedd Gyfrol o'r *Methodistiaeth Cymru.* Yno, yn y ddwy bennod gyntaf o Ddosbarth y Pummed (tu dal. 499—535), wrth egluro Cyfansoddiad ein Cyfundeb, y mae Mr. Hughes, yn ol y doethineb a rodded iddo ef, mewn modd pwyllog, ac mewn modd argyhoeddiadol, dybygwn i—yn dangos, yn y ffordd amlycaf, y gwahaniaeth mawr rhwng hanfodion yr eglwys a'i ffurfiau achlysurol; ac nis gall Methodist, pa fodd bynag, wrth ddarllen yr hyn a ddywedir yno, lai na diolch yn wresog am fod y cyfansoddiad Methodistaidd yr hyn ydyw. Mae sylw Mr. Parry yn Nghymdeithasfa Dowlais yn cael ei gadarnhâu yn anwadadwy gan y diweddar efengylydd Mr. Hughes o Liverpool.

Ond gan y gall rhagfarn yr ysgrifenydd fel Annibynwr beri iddo gau drws ei feddwl yn erbyn rhesymeg Mr. Hughes, am mai Methodist oedd yntau, byddai yn well i mi yma efelychu Paul pan yn sefyll ymysg philosophyddion Athen yn nghanol Areopagus, ac

yn dyfynu yr hyn a "ddywedodd rhai o'u poetau hwy eu hunain." Câf finnau osod ger bron yr hyn a ddywed un o wŷr enwocaf yr Annibynwyr eu hunain, sef y diweddar Barchedig William Jay o'r Bath. Cyfrifid ef fel un o golofnau penaf yr enwad Cynnulleidfäol yn yr oes aeth heibio; ac nid oedd yn Lloegr odid bregethwr yn fwy poblogaidd nag ef. Edrychai ei gyfeillion yn gyffredinol arno ef fel gŵr yr oedd ei ddoethineb yn trigo gyda challineb. Wel, yn y gyfrol ragorol hono o'i weithoedd argraffedig, *The Christian Contemplated*, yn y Bedwaredd Ddarlith, *The Christian in the Church*, efe a ddywed fel y canlyn:—

"Byddaf, mae yn debyg, yn cyflawni pechod anfaddeuol gan ddallbleidwyr, pan yn traethu fy marn, ar ol yr hyn oll a ddarllenais am yr ymarddelwadau *(claims)*, pa un bynag ai Esgobyddol, neu Henaduriaethol, neu Annibynol, i'r *unig* safon ysgrythyrol, nad oes yr un cynllun penodol iawn o Lywodraeth Eglwysig wedi ei gosod i lawr yn y Testament Newydd, fel ag i fod un ffurf yn ganonaidd, a phob un arall yn hollol gyfeiliornus. Mae gwyrni oddiwrth drefniadau gorchymynedig yn bechadurus; ond 'lle nid oes deddf, nid oes gamwedd.' Dywed yr Apostol, 'Cynifer gwaith bynag y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd oni ddelo.' Yn awr, pe dywedasai efe wrthym pa mor fynych yr oeddem i wneyd hyn, buasai raid i ni wneyd ar y prydiau hyny, neu wrthwynebu ewyllys Duw. Ai felly y mae yn awr pan y mae yr amser wedi ei adael heb ei benderfynu? Onid allem wahaniaethu gyda golwg ar y mynychdod o gymuno heb bechu? Y mae fel arall gyda golwg ar ddyfodiad y Sabboth: mae hyny wedi ei benderfynu gan orchymyn a chan esiampl. Buasai yn feius yn Moses beidio gwneyd y gafeiliau o aur pur, neu yr olew sanctaidd o gymysgedd cyfferiau penodol, neu bais yr offeiriad o gyfryw ddefnydd a lliw a hŷd; o herwydd yr oedd efe wedi cael ei gyfarwyddo yn benodol i wneuthur felly, a phortread y cyfan wedi cael ei ddangos iddo yn y mynydd. Ond ymha fynydd y dangoswyd cynllun trefn amgylchiadau gyda ni? Pa Foses a'i derbyniodd? Ymha le yr ydym yn cael neillduolrwydd manyldeb yn yr Efengylau, neu yr Actau, neu yr Epistolau? Pa le yr ydym yn cael llawer o ddefnyddiau y dadleuon digofus a'r cauad allan sydd wedi cymeryd cymaint o le, a dyfetha cymaint o dymherau yn nghyfundrefn Cristionogaeth?—cyfundrefn wedi ei bwriadu i bob cenedl, a llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd—cyfundrefn yn rhy ardderchog yn ei hamcan i ymgolli mewn manylion—yn rhy awyddus i uno ei dilynwyr mewn pethau mawrion fel na wna fawrhâu pethau bychain—yn rhy wir foneddigaidd i beidio bod yn ymddarostyngol—yn rhy dyner i beidio bod yn rhyddfrydig—yn rhy ddiduedd i beidio dyweyd wrth ei deiliaid, 'Derbyniwch eich gilydd megys y derbyniodd Crist chwithau; chwi y rhai ydych gryfion a ddylech gynnal gwendid y gweiniaid, ac nid rhyngu eich bodd eich hunain.'

Gallesid dwyn eto syniadau gwŷr da a mawrion eraill ar hyn; ond ymattaliwn. Os oedd Mr. Parry yn methu, efe a fethodd gyda chwmni rhagorol.—Yr eiddoch yn ffyddlawn,

E. W. F.

---

## YSWIRIANT METHODISTAIDD.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

SYR,—Hyderaf y byddwch mor garedig a chaniatâu i mi wneuthur ychydig sylwadau ar y dymunoldeb o gael cymdeithas yswiriol *(insurance)* Fethodistaidd. Y mae y pwnc eisoes wedi ymddangos trwy y wasg Gymreig, ac yn parhâu yn destun ymddyddan mewn amryw fanau ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

Yr wyf yn ddiolchgar i Gyfarfod Misol Liverpool am ddyfod â hyn i sylw y Gymdeithasfa y flwyddyn ddiweddaf. Yr oeddynt hwy yn ei gyfyngu i'n haddoldai yn unig; ond ymhen ychydig wythnosau ar ol hyny ymddangosodd llythyr yn y *Goleuad* yn annog ar i'r Gymdeithasfa fod yn fwy ëang trwy gymeryd i fewn fywydau yn gystal â meddiannau, ond eto yn gyfyngedig i gorff y Methodistiaid.

Un o brif gwestiynau ein Cyfundeb y blynyddoedd hyn, a'r un y teimlir mwyaf o anhawsder i'w ateb ydyw, Pa fodd i ddileu y ddyled drom sydd ar ein capelau? Dyma sydd yn aros fel corff y farwolaeth ar ein haddoldai prydferth yn Ngogledd a Deheudir Cymru, yn gystal â threfydd Lloegr.

Yn bresennol y mae miloedd lawer o'n haelodau a'n gwrandäwyr yn *insurio* eu bywydau eu hunain a'u teuluoedd mewn cymdeithasau yn Llundain, Edinburgh, &c., pa rai sydd yn cynnyrchu elw blynyddol o ddegau o filoedd o bunnau. Yn awr, naturiol gofyn a fyddai y fath gymdeithas â'r un a awgrymir uchod yn ymarferol. Ni phetruswn ateb yn gadarnhäol. Y mae yn ein plith foneddigion galluog a gweithgar, pa rai yn ddiammheu a'i cyfrifent yn anrhydedd gael bod yn ymddiriedolwyr i'r cyfryw gymdeithas. Ac hefyd ni theimlid unrhyw anhawsder i gael brawd galluog i weithredu fel *General Manager* am gyflog rhesymol. Tebygol hefyd y byddai yn ofynol cael rhyw un ymhob sir fel is-oruchwyliwr. A gellid dysgwyl i'r eglwysi weithredu yn eu plith eu hunain trwy gael, dyweder, 2½ y cant fel *commission* am eu gwasanaeth, a'r elw oddiwrth hyn i fyned tuag at gynnorthwyo yr achos yn y lle.

Arbedid trwy hyn lawer o gostau trafaelio, &c., tra ar yr un pryd y dysgwylid i ddylanwad y swyddogion fod yn fwy effeithiol er cael ein haelodau a'n gwrandäwyr i ymuno â'u cymdeithas eu hunain o flaen yr eiddo dyeithriaid. Credaf yn sicr y gellir cynnyrchu ffydd ddiysgog a chyffredinol mewn cymdeithas o'r fath, ac hefyd y byddai o ddirfawr wasanaeth i bersonau a theuluoedd, ac ymhen ychydig flynyddoedd y byddai yr elw oddiwrthi i'r Cyfundeb yn gyfartal â'r ddyled sydd yn bresennol ar ein capelau.—Wyf yr eiddoch, &c.,

WILLIAM FRASER.

*Froghall.*

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA BLAENAU GWENT.

HYDREF 10, 11, 12, 1882.

LLYWYDD, — Y Parch. GEORGE WILLIAMS, Llysyfran.

DYDD MAWRTH, Y 10FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am 6 o'r gloch,*

I. Cymerwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y cenadwriaethau canlynol:—

*O Ogledd Aberteifi:*—"Ein bod yn dymuno ar i'r Gymdeithasfa roddi hawl i ni ddefnyddio y *grants* i Stockton a Middlesboro yn y modd y gwelom ni yn oreu, yn ngwyneb ystâd pethau yno ar y pryd presennol."—THOMAS EDWARDS, *Ysg.*

*O Sir Benfro:*—"Ein bod, fel Cyfarfod Misol, yn barnu mai gwell ydyw cyfyngu cyllid y Genadaeth Gartrefol, o hyn allan, i gynnorthwyo achosion Seisonig gweiniaid, a thuag at sefydlu achosion Seisonig newyddion, ac i gynnal Cenadon ymysg y Cymry gwasgaredig yn Lloegr, ac y dylai y Cyfundeb yn y Deheudir fyned ymlaen i sefydlu Trysorfa Gynnorthwyol, naill ai Daleithiol neu Siriol, i roddi cynnorthwy i leoedd gweiniaid Cymreig."—W. MORRIS, *Ysg.*

*O Sir Fynwy:*—1. "Fod y Cyfarfod Misol yn dymuno sylw y Gymdeithasfa yn y Blaenau at rhif 20fed o Reolau Dysgyblaethol y Cyfundeb."—2. Hefyd penderfynwyd, "Yn gymaint a bod y casgliad at Drysorfa y Gweinidogion yn awr ar gael ei ddwyn i derfyniad, dymunir ar fod i achos Dyled y Capelau gael y flaenoriaeth ar bob achos arianol cyffredinol arall, yn unol â'r dealltwriaeth y daethpwyd iddo o berthynas i hyny yn Nghymdeithasfa Llanstephan." Cyflwynir y penderfyniad hwn i sylw Cyfeisteddfod y Blaenoriaid.—EVAN JONES, *Ysg.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—1. Penderfynwyd, "Ein bod yn awgrymu i'r Gymdeithasfa y priodoldeb o ddiolch i D. Lewis, Ysw., Machen, am ei rodd o £250 at y ddyled ar Gapel Caerphilly, ynghyd ag amryw eraill.—2. Yn nghyfarfod Misol Gilfach-goch, penderfynwyd awgrymu i'r Gymdeithasfa y priodoldeb o oedi cyhoeddiad o Adroddiad y Casgliad at Drysorfa y Gweinidogion, hyd ar ol diwedd y flwyddyn hon, er mwyn iddo fod yn fwy cyflawn.—3. Gyda golwg ar Adroddiad y Pwyllgor ar y Genadaeth Gartrefol i Gymdeithasfa Mai diweddaf, pasiwyd, "Ein bod yn barnu mai doeth ac angenrheidiol, dan yr amgylchiadau presennol, yw edrych ar yr Eglwysi Cymraeg a Saesoneg yn yr un berthynas a'u gilydd â'r Genadaeth, ac i dderbyn o'i chyllid heb gymeryd i'r cyfrif o gwbl wahaniaeth iaith."—W. J. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol gan y Parch. W. Evans, M.A., o Gyfeisteddfod Trysorfa y Gweinidogion:

TRYSORFA Y GWEINIDOGION.—1. Mae y symiau canlynol wedi eu derbyn gan y Trysorydd Cyffredinol, o'r amrywiol Siroedd, yn 1881—82, tuag at yr ymdrech neillduol i chwyddo y Gronfa, ac i gyfarfod â chynnygiad haelionus Mr. D. Davies, A.S., Llandinam:—Gogledd Aberteifi, £918 18s.; Dehau Aberteifi, £1056 5s 2c; Penfro, £411 4s. 10c.; Caerfyrddin, £1197 5s.; Gorllewin Morganwg, £1280 8s. 3c.; Dwyrain Morganwg, £1162 13s. 7c.; Mynwy, £426; Brycheiniog, a Maesyfed, £312 16s. 5c.; Henaduriaeth Mynwy, Morganwg a Chaerfyrddin, £122 3s. 9c.; derbyniwyd hefyd oddiwrth D. Davies, Ysw., A.S., Llandinam, £2000. Cyfanswm, £8887 10s.—2. Dysgwylir symiau ychwanegol o ddwy o'r Siroedd, ac y mae y swm o tua £60 yn barod yn Llundain i'w danfon i fewn. Dymunir annog fod y gweddillion hyn yn cael eu danfon i'r Trysorydd Cyffredinol yn ddioedi.—3. Cyfanswm presennol y Gronfa yw, DEUDDENG MIL CHWE' CHANT A DEUNAW A DEUGAIN O BUNNAU. (£12,658.)—4. Cynnygir y brodyr canlynol yn Ymddiriedolwyr y Gronfa:—Mr. D. Jenkin Davies, J.P., Aberystwyth; Mr. D. Davies, M.P., Llandinam; Mr. J. W. Stephens, J.P., Llechryd; Mr. John James, Llandovery; Mr. Roger Edwards, Bwlch; Mr. Thomas Phillips, ieu., Abertawy; Parch. David Edwards, Casnewydd; Parch. George Williams, Llysyfran.—5. Gan fod y flwyddyn bresennol wedi rhedeg ymlaen mor bell, barna y Cyfeisteddfod yn oreu i oedi dygiad allan yr Adroddiad, ac i ddwyn allan yr Adroddiadau am 1881 a 1882 gyda'u gilydd mor gynnar ag y gellir yn y flwyddyn newydd.—6. Dymunir eto ddiolch yn gynhes i'r holl gyfeillion sydd wedi cynnorthwyo, lliaws o honynt trwy gyfraniadau tra haelionus i ddwyn y Gronfa i'w sefyllfa bresennol, ac yn arbenig i'r brodyr ffyddlawn a gymerasant y rhan fwyaf flaenllaw yn yr ymdrech neillduol sydd yn awr yn cael ei chwblhâu. Ond yr ydym oll dan rwymedigaeth yn benaf i'r boneddwr anrhydeddus, Mr. D. Davies, Llandinam, am ei gynnygiad haelionus, yr hwn a'n cymhellodd fel Cyfundeb yn y Deheudir i ymgymeryd â hyn o waith daionus, ac am ei ddiriondeb mawr wrth fod mor ymarhous tuag atom yn ngwyneb ein harafwch, ac fe allai y caniateir i ni ddyweyd dan yr amgylchiadau, ein hanallu i orphen y casgliad mor fuan ag y dysgwylid. Ac yn awr y mae genym i gydnabod derbyniad ei rodd dywysogaidd o £2000 at yr achos, ac yr ydym yn cyflwyno iddo ein diolchgarwch mwyaf gwresog. Ein gweddi ydyw ar i'n brawd anwyl ac anrhydeddus gael byw yn hir, a pharhâu i fod yn llwyddiannus yn ei holl ymgymeriadau, ac yn neillduol ar iddo gael mwynhâu yn helaeth o lawenydd yr iachawdwriaeth, a dymunwn yr un fendith i'w deulu.—7. Hyderwn, er fod yr ymdrech bresennol yn awr yn cael ei

gorphen, na chaiff achos y drysorfa ei anghofio gan y rhai hyny o aelodau y Cyfundeb yn y Dehau ag y mae yr Arglwydd wedi eu llwyddo yn mhethau'r byd hwn. Bydd y Cyfeisteddfod eto yn ddiolchgar iawn am danysgrifiadau blynyddol oddiwrth y cyfryw gyfeillion; ac y mae eto le yn y Gronfa i roddion a chymynroddion, a derbynir pob cyfraniad gyda'r diolchgarwch mwyaf.

Penderfynwyd, 1. Ein bod yn derbyn yr adroddiad rhagorol uchod, ac yn mawr lawenhâu fod yr ymgymeriad pwysig hwn wedi ei gwblhâu.—2. Ein bod yn anfon llythyr at Mr. Davies, Llandinam, i gyflwyno diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa iddo am ei haelfrydedd gyda'r achos hwn.—3. Ein bod yn diolch yn y modd mwyaf cynhes hefyd i'r Parch. W. Evans, M.A., Ysgrifenydd medrus ac ymroddgar y drysorfa, am ei wasanaeth gwerthfawr yn nygiad ymlaen y mudiad mewn modd mor llwyddiannus.

IV. Penodwyd y Parchn. Aaron Davies, Edward Davies, Rhymney, J. Cynddylan Jones, a W. Evans, M.A., i dynu i fyny benderfyniad gyda golwg ar ddarpariaeth y Llywodraeth mewn cysylltiad âg Addysg Uwchraddol yn Nghymru.

V. Ymofynwyd a oedd dydd o ddiolchgarwch wedi ei gynnal trwy y Siroedd am y cynauaf, a therfyniad y rhyfel yn yr Aipht; ac annogwyd y Siroedd nad ydynt wedi gwneyd i benodi diwrnod mor fuan ag y byddo yn gyfleus.

VI. Penderfynwyd ein bod yn anfon llythyr at ein hanwyl frawd, y Parch. Thomas Evans, Penycae, i ddadan ein cydymdeimlad âg ef yn ei afiechyd poenus.

VII. Rhoddwyd eglurhâd pellach gan y Parch. D. Edwards, ar y *Charitable Trusts Incorporation Act*, yr hon nid yw yn ei gwedd bresennol yn gymhwys i'w defnyddio genym fel Cyfundeb; a dymunwyd ar Mr. Edwards, ynghyd a Mr. D. R. Lewis, i ymgynghori â Mri. H. Richard, M.P., Charles James, M.P., a Mr. Simner, er gweled pa ddiwygiad ellir gael yn y Weithred.

Ynglŷn â hyn penderfynwyd ein bod yn ail benodi Cyfeisteddfod Gweithredoedd y Capelau, ac yn dymuno arnynt ddarparu cyfarwyddiadau ar gyfer penodiad Ymddiriedolwyr newydd, &c.

VIII. Penodwyd y brodyr canlynol i fod yn Gyfeisteddfod i ystyried y Rheolau ar Godi Pregethwyr, fel ag i gael y rheolau hyn yn unffurf rhwng y De a'r Gogledd, yn ol penderfyniad y Gymanfa Gyffredinol:—Y Parchn. J. Jones, Ceinewydd; T. Levi, Aberystwyth; Joseph Jenkins, Llanfair; J. Lewis, Caerfyrddin; J. M. Jones, Caerdydd; D. Saunders, Abertawy; W. M. Lewis, Tyllwyd; D. Edwards, Casnewydd; a D. Evans, B.A., Whitchurch. Y Parch. J. Lewis i fod yn gynnullydd.

IX. Caniatäwyd i'r brodyr o Sir Fynwy dynu yn ol, ar hyn o bryd, y genadwri o berthynas i'r 20fed Reol; a rhoddasant rybudd y byddant yn ei ddwyn eto i'r Gymdeithasfa nesaf, ac yn cynnyg *bye law* tuag at weithredu mewn achosion fyddo yn dyfod dan y rheol hon.

X. Caniatäwyd cais Cyfarfod Misol Gogledd Aberteifi o barthed i'r *grants* o Drysorfa y Genadaeth Gartrefol at yr Achosion yn Stockton-on-Tees a Middlesboro; y *grants* i fod yr un swm a'r flwyddyn o'r blaen.

XI. Wedi cael ymddyddan tra buddiol ar achos y Genadaeth Gartrefol, barnwyd yn oreu i'r Cyfarfodydd Misol i'w ystyried ymhellach, yn ngwyneb yr Adroddiad a ddygwyd gan y Cyfeisteddfod i Gymdeithasfa Pontardawe, a dwyn eu barn i Gymdeithasfa Mawrth, gan nad oes ond tri wedi dadgan eu syniad ar y mater. Penderfynwyd hefyd ychwanegu at y Cyfeisteddfod a benodwyd yn Nghymdeithasfa Dowlais. Gosodwyd ar yr Ysgrifenydd a'r Cynnrychiolwyr i ddwyn yr enwau ger bron dydd Mercher.

### Dydd Mercher, yr 11eg.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am* 9 30.

I. Cymeradwywyd y brodyr canlynol fod yn gyfeisteddfod i ystyried achos y Genadaeth Gartrefol, yn unol â phenderfyniadau Cymdeithasfaoedd Dowlais a Phontardawe:—Y Parchn. W. Williams, Abertawy; T. Levi; J. Jones, Ceinewydd; J. Watkins, Gorwydd; J. Lewis, Caerfyrddin; W. James, Aberdâr; W. John, Penybont; J. R. Owen, Penfro; D. Edwards, Casnewydd; Mri. R. J. Davies, Cwrtmawr; James James, Pentremawr; Roger Edwards, Bwlch; J. James, Llanymddyfri; D. Evans, Caerdydd; T. Phillips, Ieuaf, Abertawy; H. Lloyd Harries, Cefnydre; E. Evans, Tredegar; Dr. E. Davies, Abertawy. Y Parch. W. Williams yn gynnullydd.

II. Cafwyd ymddyddan am y Drysorfa Gynnorthwyol, a gohiriwyd ystyriaeth o hono i gael gweled pa drefniad a ellir wneyd gyda'r Genadaeth Gartrefol, a chyda talu dyled y capelau.

III. Cyflwynwyd yr adroddiad canlynol gan y Cyfeisteddfod Cynnorthwyol, yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Pontardawe:—

Y Cyfarfod cyntaf ar ol ei benodi gan Gymdeithasfa Pontardawe, Mai 24, 1882.

Cyfarfu y Cyfeisteddfod yn *Vestry* y Trinity, Abertawy, dydd Gwener, y 29ain o Fedi,

1882, am 3 o'r gloch. Yn bresennol — y Parchn. W. Williams, D. Phillips, D. Anthony, W. S. Davies, D. Thorne Evans, Thos. Richards, a Morris Morgan. Diaconiaid—Thomas Jones, Thomas Phillips, Ieuaf, Ebenezer Davies, a Thomas Harries. Etholwyd y Parch. D. Phillips yn Ysgrifenydd.

Penderfynwyd ein bod yn cynnyg, yn—1. Fod ymdrech cyffredinol, trwy holl Ddeheudir Cymru, i wneyd casgliad blynyddol egnïol, a thanysgrifiadau oddiwrth bersonau, er ffurfio Cronfa Gyfundebol gref i leihâu y ddyled sydd ar ein haddoldai.—2. Darllenwyd llythyr oddiwrth Miss Rees (Cranogwen), ar y mater; a phenderfynwyd ein bod yn derbyn awgrym Miss Rees yn ddiolchgar, ac yn dymuno ei chymeradwyo i sylw y Gymdeithasfa, fel un gymhwys i ymgymeryd â'r symudiad trwy holl gylch Cymdeithasfa y De.—3. Ar ol i'r Gronfa gyrhaedd swm y bernir ei fod yn ddigon i ddechre ei defnyddio, fod i'r Gymdeithasfa benodi Pwyllgor, yn cynnrychioli yr holl Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaeth, i dderbyn ceisiadau oddiwrth leoedd fyddai yn methu, ac i fenthyca iddynt - ar ol barnu eu teilyngdod—symiau o'r Gronfa yn ddilôg; a phenodi ar swm i'w talu yn ol i'r Gronfa yn flynyddol, hyd oni thaler eu holl ddyled. —D. PHILLIPS, *Ysg.*

Penderfynwyd fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn i fod dan ystyriaeth hyd y Gymdeithasfa nesaf, a'n bod yn dra diolchgar i Miss Rees am ei chynnygiad calonog mewn cysylltiad â'r symudiad. Dymunir ar y Siroedd i anfon eu hawgrymiadau ar y mater i'r Cyfeisteddfod yn Abertawy.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahan, am* 10 *o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr cafwyd ymddyddan nodedig o fuddiol ar "Y Weinidogaeth a'r Oes."

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf fod yn Aberystwyth, Mawrth 13, 14, a'r 15, 1883. Cyfarfod cyntaf y Cyfeisteddfod i fod am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, y 13eg.

II. Rhoddwyd hanes yr Achos yn Sir Fynwy gan y Parchn. D. James, Llaneurwg, a G. Phillips, Pontnewynydd. Dangosai yr adroddiad gryn gynnydd yn rhif yr aelodau, a bod y Sir yn sefyll yn uchel o ran cyfartaledd ei chasgliadau, ynghyd a llwyddiant mawr ar yr achos Dirwestol.

Penderfynwyd ein bod yn annog ein brodyr yn Sir Fynwy i ymdrechu cael *Sunday Closing Act*, ac fod copi o'r Penderfyniad i gael ei anfon i Mr. Carbutt, yr Aelod Seneddol dros Gasnewydd:—

Unanimously resolved, at a Meeting of the South Wales Calvinistic Methodist Association, held at Blaina on October 11th, "That our best thanks be offered to E. H. Carbutt, Esq., M.P., for his intended efforts to obtain a Sunday Closing Act for Monmouthshire, and that we express our earnest desire that this great boon may soon be secured, as already done in the Welsh Counties."

III. Derbyniwyd yr adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid, a barnwyd y byddai yn well i'r cynnygiad gyda golwg ar gydnabod y Cynnrychiolwyr gael ystyriaeth pellach, er mwyn cael cyd-ddealltwriaeth arno:—

Cadeirydd, —Mr. R. J. Davies, J.P., Cwrtmawr. Penderfynwyd:—1. Fod y lle ymha un y byddo y Gymanfa i dalu holl dreuliau y Gweinidogion a fyddont yn cynnrychioli y Siroedd, ymhob Cymanfa, a bod i bob Cyfarfod Misol wneyd ymholiad a fyddai y cyfryw gynnrychiolwyr wedi cael eu cydnabod yn deilwng.—2. Fod y cyfarfod hwn yn dadgan ei lawenydd fod sylw yn y Gymanfa wedi cael ei gymeryd at drefnu rhyw lwybr i dalu dyled ein capelau, ac yn rhoddi ei gymeradwyaeth gryfaf i bob egni tuag at hyny.—3. Fod y pwnc a adawyd i sylw y cyfarfod hwn o Gymanfa Aberteifi, sef, "Pa beth a ellir ei wneyd tuag at beri fod gweinidogaeth yr efengyl yn fwy effeithiol," i gael sylw pellach yn y Cymanfaoedd dyfodol.

IV. Rhoddwyd anerchiad gan y Cynlywydd, y Parch. W. Williams, yn rhoddi golwg ar y gwaith mawr sydd wedi ei wneyd y blynyddoedd diweddaf, ac mai angben mawr ein Cyfundeb yw, *digon o ysbryd crefydd, o rym duwioldeb*—y gwnai hyn gadw pob peth yn ei le; ond cael hyn, y byddai cariad yn ffynu yn ein plith, ac y byddai ein hymarweddiad yn addas i efengyl Crist.

Ar gynnygiad y Parch. E. Matthews, a chefnogiad Dr. Harries Jones, cyflwynwyd diolch cynhes i Mr. Williams am ei anerchiad rhagorol, ac am ei wasanaeth gwerthfawr fel Llywydd y flwyddyn ddiweddaf. Hyderid y byddai ei gynghorion a'i apeliadau difrifol yn cael eu hargraff briodol arnom.

DYDD IAU, Y 12FED.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am* 8 *o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y Cyfeisteddfod.

II. Yn ol y cais o Ddwyrain Morganwg, penderfynwyd ein bod yn cyflwyno diolchgarwch y Gymdeithasfa i Mr. Lewis, Machen, am ei roddion haelionus i'r achos yn Machen a Chaerphilly.

III. Mabwysiadwyd y penderfyniad ar Addysg yn y ffurf ganlynol:—

"This Association learns with great satisfaction, that the Government has promised £8000 annually, for the maintenance of two University Colleges in Wales, one for North and the other for South Wales; and is greatly pleased, that in the meanwhile an annual grant of £4000 has been granted in support of the Aberystwyth College. Further, the Government having made the offer of £4000 per annum towards the maintenance of the College in South Wales, on condition that the necessary funds be locally raised to establish the College, and to erect the requisite buildings for the same, it is a duty incumbent upon all members and adherents of the Connexion in South Wales, to assist, so far as it lies in their power, in the accomplishment of this great object. And it is urged that they heartily co-operate with the general effort which is about to be made for this purpose."

Ynglŷn â hyn dewiswyd y brodyr canlynol yn Gyfeisteddfod, i gydweithredu â brodyr a benoder gan enwadau eraill, tuag at hyfforddi y wlad ar y mater pwysig hwn:—*Brycheiniog*—Prof. Howells, John Protheroe, J.P., a Rees Evans. *Aberteifi*—Ll. Edwards, M.A., T. Harries, J.P., Llechryd; T. James, M.A., Llandyssul. *Penfro*—W. Jenkins, M.A., St. David's; J. E. Owen, a H. Ll. Harries, J.P. *Caerfyrddin*—J. Lewis, Caerfyrddin; D. Randell, Solicitor, Llanelli; a John James, Llandovery. *Morgannwg* — W. Williams, Abertawy; J. Cynddylan Jones, D. Saunders, D. Davies, Aberdâr; W. Howells, Pencoed; T. Rees, Merthyr. *Mynwy*—D. Edwards, A. Davies, D. Evans, M.A., Pengam; Edward Davies. Y Parchn. D. Edwards ac A. Davies i fod yn gynnullwyr, a *phump* i wneyd *quorum*.

IV. Gwnaethpwyd sylwadau parchus mewn coffâd am y diweddar Barchn. Watkin Williams, Pencoed; D. Williams, Crickhowell; a W. Davies, Llantrisant; a hyderid y byddai y rhinweddau oedd mor amlwg yn y brodyr hyn yn blaguro ynom ninnau sydd eto ar ol.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

### *Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Yn nghapel Gobaith, nos Lun (Hydref 9fed), pregethodd y Parch. D. G. Jones, Tònau; a nos Fawrth, y Parch. W. Prydderch, Goppa, a Dr. Harries Jones, Trefecca.

Dydd Mercher, yn yr un capel am 3 y prydnawn, pregethodd y Parchn. Dr. Harries Jones, a W. Williams, Abertawe; a'r un pryd yn nghapel Seisonig y Presbyteriaid, y Parchn. D. C. Edwards, M.A., Bala, a J. Cynddylan Jones, Caerdydd.

Am 7, yn nghapel Gobaith, y Parchn. G. Davies, Aberteifi, a D. Saunders, Abertawe; a'r un pryd yn nghapel y Wesleyaid Seisonig cynnaliwyd Cyfarfod Dirwestol, pryd yr areithiwyd gan y Parchn. J. Idrisyn Jones, J. Pugh, Pontypridd, ac eraill.

Dydd Iau, am 6 yn y bore, pregethodd y Parchn. J. Bowen, Pontrhydfendigaid, ac E. James, Borth.

Am 10, yn nghapel Gobaith, y Parchn. J. Cynddylan Jones, ac Edward Matthews; yr un pryd yn nghapel y Presbyteriaid, y Parchn. W. Jenkins, Tyddewi, a W. Williams, Abertawy; ac yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, y Parchn. G. Williams, Tyddewi, a J. Jones, Rhosllanerchrugog.

Am 2, yn nghapel Gobaith, y Parchn. J. Lewis, Caerfyrddin, a W. Prydderch, Goppa; yn nghapel y Presbyteriaid, y Parchn. W. D. Williams, Penclawdd, a W. Lewis, Pontfaen; ac yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, y Parchn. T. Davies, Treorci, ac E. Edmunds, Abertawe.

Am 6, yn nghapel Gobaith, y Parchn. S. Jones, Ystrad, a J. Jones, Rhôs; yn nghapel y Presbyteriaid, y Parchn. J. Davies, Pandy, a J. Idrisyn Jones; ac yn nghapel y Bedyddwyr Cymreig, y Parchn. A. Roberts, Ystrad, a M. Thomas, Resolven.

---

### Y PARCH. D. CHARLES DAVIES, M.A., LLUNDAIN.

ER fod Mr. Davies, a'i anwyl briod, er ys cryn amser bellach, yn byw am y rhan fwyaf o'r flwyddyn yn (Upper) Bangor, eto, ar daer ddymuniad yr eglwys a'r gynnulleidfa yn New Jewin, Llundain, yr oedd efe yn para yn weinidog iddynt hwy, ac yn myned am fisoedd bob blwyddyn i weinidogaethu yno. Erbyn hyn y mae efe wedi rhoddi i fyny yn benderfynol ei arolygiaeth gweinidogaethol yn y brifddinas; ac yn y cyfarfod eglwysig yn New Jewin, nos Sabboth, y 5ed o'r mis diweddaf, gwnaed yn hysbys i'r frawdoliaeth fod Mr. Davies, fore y Sul hwnw, wedi pregethu am y tro olaf fel eu gweinidog. Y mae hyn yn peri tristyd mawr i'w gyfeillion lliosog a gwresog yn Llundain; ond yr ydym yn hyderu y bydd efe, o herwydd ei ymadawiad i breswylio yn Nghymru, yn "estyn ei ddyddiau ar y ddaear" trwy gryfhâd ei iechyd, ac y galluogir ef i fod o fawr lesâd, nid yn unig i'r achos Seisonig yn Mangor, ac i Arfon yn neillduol, ond i Ogledd Cymru yn gyffredinol.

---

### CANU CYNNULLEIDFAOL.

YN Nghyfarfod Misol Arfon am fis Hydref, a gynnaliwyd yn Mettws y coed, darllenwyd yr adroddiad canlynol o weithrediadau y Pwyllgor Canu Cynnulleidfaol:—

Dymunir galw sylw y Cyfarfod Misol at y ffaith y bydd y pwyllgor ar ddiwedd y flwyddyn hon wedi cyflawni tair blynedd ei oruchwyliaeth, ac y bydd yn anghenrheidiol ethol pwyllgor newydd. Ar ddechre yr adeg, nid oedd ond un dosbarth yn cynnal Cymanfa Ganu Cynnulleidfaol, sef Dosbarth Clynnog; ond yn awr y mae Dosbarthiadau Bangor a

Bethesda yn cael cymanfäoedd llewyrchus; a llawen gan y pwyllgor ddeall fod Beddgelert a'r cylchoedd wedi cychwyn mor ragorol y Sulgwyn diweddaf. Deallir fod Dosbarth Dinorwig yn dechre ymysgwyd o'r llwch. Ond tra y mae ei frodyr yn symud ymlaen, dymunir gofyn i Ddosbarth Caernarfon paham yr erys yntau ar ol? Y mae'r pwyllgor o dro i dro wedi gwahodd y Cyfarfodydd Dosbarth i ymdrin â'r pwnc o Ganu Cynnulleidfäol, ac wedi annog ar i fwy o sylw gael ei dalu i addysgu y genedl ieuanc yn egwyddorion cerddoriaeth. Teimlai y pwyllgor yn llawen fod y pethau hyn oll wedi cael sylw iraddau lled helaeth, er na wnaed cymaint ag a allesid gyda'r mater diweddaf, yr hwn a ystyrir yn un pwysig. Hyderir y bydd y pwyllgor nesaf yn gallu symud ymlaen eto i gael y dosbarthiadau i lafurio yn yr un maes, ac i gydargraffu yr un tônau ac emynau, ac hwyrach, hefyd, gyd-drefnu gyda golwg ar amser y gwahanol gymanfäoedd, a dewis arweinydd, fel ag i arbed hyd y gellir y costau cysylltiedig â hwynt.

Dymuna y pwyllgor gyflwyno y penderfyniadau canlynol am gadarnhâd a chymeradwyaeth y Cyfarfod Misol: 1. Fod annogaeth daer yn cael ei rhoddi ar i bob cynnulleidfa ddysgu elfenau cerddoriaeth i'r genedl ieuanc, ac ar fod i'r Cyfarfod Dosbarth ofalu ar i hyn gael ei ddwyn i sylw y cynnulleidfäoedd, a gwneyd yr oll a ellir tuag at ei gario allan.—2. Awgrymir i'r Cymanfäoedd Canu, neu y Cymanfäoedd Ysgolion lle nad oes hyny, y priodoldeb o gyflwyno rhyw wobrwyon i'r rhai fydd wedi ennill tystysgrifau yn nodiant y *Tonic Sol ffa*, er mwyn rhoddi cymhelliad i'r ymdrech hon.—3. Fod y pwyllgor yn teimlo yn ofidus wrth ddeall fod cymaint o amser ac ymdrech y cantorion yn cael ei droi i gyfeiriad arall, gan esgeuluso y canu cynnulleidfäol a moliant cysegr Duw, ac yn enwedig fod rhanau o'r Sabboth yn cael ei dreulio ar gyfer cystadleuaethau, yr hyn, er i'r darnau fod yn gysegredig, sydd yn annheilwng i'r Sabboth, ac i'r cysegr; a dymuna y pwyllgor ar i'r Cyfarfod Misol alw sylw arbenig y swyddogion eglwysig at eu cyfrifoldeb pwysig i wrthsefyll hyn, ac i dywys ymdrechion ein cantorion i'r cyfeiriad priodol ar ddydd yr Arglwydd.—J. EIDDON JONES, *Ysgrifenydd.* Penderfynwyd fod ystyriaeth yn cael ei roddi eto yn y Cyfarfod Misol i faterion yr adroddiad hwn.

---

SEFYDLIAD GWEINIDOG.

CYNNALIWYD cyfarfod sefydliad Mr. R. E. Morris, B.A., yn ddiweddar o Fachynlleth, fel gweinidog yr eglwys yn Aberdyfi, Gorllewin Meirionydd, ar y Mercher a'r Iau, yr 16eg a'r 17eg o Dachwedd; a chafwyd cyfarfod pregethu rhagorol ynglŷn â'r sefydlu hwnw. Nos Fercher, pregethodd y Parchn. T. J. Wheldon, B.A., a Joseph Thomas. Dydd Iau am 10, pregethodd y Parchn. J. Ogwen Jones, B.A., a Joseph Thomas. Yn y prydnawn, sef cyfarfod penodol y sefydlu, llywyddodd Mr. Wheldon; ac efe, ynghyd a Mr. David Rowlands, Pennal, a draddodasant anerchiadau fel cynnrychiolwyr Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd; a'r Parch. G. Hughes, M.A., a Mr. David Jones, a anerchasant y cyfarfod fel cynnrychiolwyr eglwys Machynlleth. Cafwyd cynghorion cymhwys i'r eglwys ac i Mr. Morris gan Mr. Thomas, Mr. Ogwen Jones (dan fugeiliaeth yr hwn, yn Nghroesoswallt, y dechreuodd Mr. Morris bregethu), a chan Mr. Hopwood, gweinidog Wesleyaidd. Yn yr hwyr pregethwyd gan Mr. Wheldon a Mr. Ogwen Jones.

---

TYSTEB Y PARCH. OWEN JONES, FACHWEN.

DYSGIR ni yn y Bibl i "roddi parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus." Credwn fod cynnulleidfa y Fachwen, Arfon, wedi gwneyd hyny trwy gyflwyno tysteb i'r brawd ieuanc, Mr. Owen, yr hwn sydd yn awr yn Mhrif Athrofa Edinburgh yn derbyn addysg. Y mae wedi bod yn llafurus a ffyddlawn yn ei ardal a'r eglwys er pan yn fachgen; bu yn ddefnyddiol ymhob cylch, a chyflawnodd bob swydd a roddid iddo gan yr eglwys gyda pharodrwydd, ffyddlondeb, ac egni. Meddyliodd amryw yn yr ardal mai doeth a dyledus ynddynt oedd dangos eu bod yn gwerthfawrogi ei lafur a'i ffyddlondeb yn eu plith, trwy wneyd rhyw gydnabyddiaeth sylweddol iddo, a bod yr adeg bresennol yn gyfleusdra da iddynt wneyd hyny. Cynnaliwyd cyfarfod i ystyried y ffordd oreu a doethaf i ddwyn hyn oddiamgylch, pryd y penderfynwyd rhoddi tysteb iddo, a gofyn i bawb yn yr ardal gyfranu tuag ati. Gwnaeth y pwyllgor a'r casglyddion eu gwaith yn rhwydd, mor ddystaw ac mor effeithiol a'r gwlith. Ac yr oedd yr holl ardalwyr yn ddiwahaniaeth yn cyfranu yn ewyllysgar. Cyfranodd rhai cyfeillion o fanau eraill ychydig at y dysteb.

Nos Iau, Hydref 19eg, cynnaliwyd cyfarfod yn y capel i gyflwyno y dysteb i Mr. Owen, ac i annog yr ieuenctyd yn y lle i lafur am wybodaeth, ac i wneyd iawn ddefnydd o'u horiau hamddenol. Llywyddwyd gan Mr. T. C. Williams, ac anerchwyd y cyfarfod gan Mr. Hugh Lewis, Llanberis; y Parchn. G. R. Jones, Dinorwic; R. O. Williams, Dinorwic; a William Rowlands, Cefnywaen. Yr oedd yr anerchiadau yn rhagorol o dda a phwrpasol. Cyflwynwyd y dysteb i Mr. Owen dros yr ardalwyr gan Mr. John Pritchard, Brynffynnon, un o flaenoriaid yr eglwys,—sef, pwrs hardd—wedi ei wneyd at yr amgylchiad gan Miss Rowlands, Fachwen House, yn cynnwys dros ugain penadur. Diolchodd ein cyfaill ieuanc yn gynhes i bawb am eu caredigrwydd tuag ato. Yr oedd y cyfarfod yn dda a buddiol. Gobeithiwn y caiff Mr. Owen oes faith yn y byd, ac y bydd iddo yn y dyfodol fod mor ffyddlawn a gweithgar ag y bu yn y gorphenol, ac felly bydd yn sicr o fod o wasanaeth mawr i achos yr Arglwydd yn y lle y bydd rhagluniaeth yn ei arwain iddo.—*W.*

# Bywgraffiaeth a Marwrestr.

### MR. JOHN HUGHES, TYDDYN Y BLUEN.

*Gan y Parch. E. Foulkes Jones, Llansantffraid Glan Conwy.*

Dyn heb ddim yn hynod ynddo oedd Mr. John Hughes. Ychydig y tu allan i'w blwyf a wyddai ddim am dano, a dichon fod ambell un yn y blynyddoedd diweddaf hyn heb wybod fod y fath ddyn yn bod. Yr oedd er ys rhai blynyddoedd yn analluog i gyfodi nemawr o'i dŷ gan henaint a llesgedd. Bu farw yn dawel, a'i ymddiried yn sefydlog ar ei Geidwad, Chwefror 12, 1879, o fewn llai na thri mis i fod yn 90 mlwydd oed.

Yr oedd ei rieni yn grefyddol ac yn aelodau yn y Roewen. Cyfrifid ei dad yn ŵr dysgedig yn yr oes hono, am ei fod yn medru darllen ac ysgrifenu. Byddai yn cael ei alw yn fynych i dai y gymydogaeth i ddarllen y Bibl a gweddïo, yn enwedig lle y byddai afiechyd. Ac ymddengys oddiwrth ddau englyn yn yr hen Fibl teuluaidd, ei fod yn gryn dipyn o fardd. Mae pob lle i gasglu na chafodd y plant eu dwyn i fyny yn yr eglwys, gan nad oedd yr hen bobl, dybygid, yn caniatâu hyny. Dywedir i John Hughes pan yn dyfod i'r eglwys, yn ŵr ieuanc, ddyweyd gyda chryn bwyslais, mai dyfod yno i gael ei ddysgu yr ydoedd. Yr oedd hyny yn nodwedd amlwg yn ei grefydd ar hyd ei oes. Cymerodd yr iau arno, a dysgodd gan yr Athraw mawr. Eisteddodd wrth ei draed i wrando ei ymadrodd a derbyn o'i eiriau.

Er mor dawel a didrwst ydoedd, ac er mor bell oddiwrth bob ymgais i'w ddangos ei hun, yr oedd yn barod i wneyd yr hyn a allai gydag achos y Gwaredwr, pryd bynag a lle bynag y cai gyfle i hyny. Pan ddechreuwyd cadw Ysgol Sabbothol yn ardal Llwyngwaew, bu efe yn un o bedwar yn gofalu am dani am flynyddoedd; a thrwy eu llafur hwy daeth yno achos bychan siriol iawn. Nid yw amgylchiadau y lle yn addaw y daw byth yn achos cryf; er hyny yr oedd yn werth ei gychwyn, ac yn werth ei ddwyn ymlaen. Y mae wedi profi eisoes yn fendith anmhrisiadwy i'r trigolion.

Os llwyddodd i ddirwyn ei bedwar ugain mlynedd a naw i fyny yn lled ddidwrf, y mae rhai nodweddion yn ei gymeriad sydd yn werth gwneyd sôn am danynt ar ol iddo farw. Un peth, a'r peth blaenaf, oedd ei onestrwydd pur a dihoced. Bu yn gweinyddu holl amgylchiadau ei blwyf am flynyddoedd am ond ychydig iawn o gydnabyddiaeth,—am yr hyn y telir cannoedd o bunnau yn bresennol,—ac ni chafwyd erioed geiniog o gamgymeriad yn ei gyfrif. Yr oedd ar y pryd yn magu ei blant, ac wedi prynu y ffarm yr oedd yn byw arni, ac yn yr ymdrech galed o dalu am dani. Yr oedd yn yr amgylchiadau yna demtasiwn gref i arfer twyll gydag arian y cyhoedd, pan yr oedd hyny mor hawdd iddo. Ond gwnaeth y cwbl gyda y fath gymhwysder a chywirdeb, fel y bu gwŷr mawr y plwyf yn cyfeirio at hyny lawer gwaith yn eu cynnulliadau plwyfol; a gwnaeth hyny heb dynu cwynion y tlawd yn ei erbyn. Ai nid yw engreifftiau fel hyn yn werth eu codi i'r golwg, er mwyn i eraill eu dilyn?

Heblaw fod egwyddor dda yn ddirgelwch ynddi ei hun, mae yr hyn sydd yn ei chynnal a'i chynnyddu yn ddirgelwch. Rhaid i bob bywyd gael yr hyn sydd o'r un natur ag ef ei hun i'w gynnal; ac os mynir iddo gynnyddu rhaid iddo gael cyflawnder o hono. Rhaid i bob egwyddor dda gael gwirionedd i fyw arno; ac nid pob gwirionedd chwaith wnaiff y tro, ond y gwirionedd o'r natur mwyaf pur, ysbrydol, a dyrchafedig. I wneyd cymeriad o'r hen ffasiwn a fedr ddyweyd yn ngwyneb pob temtasiwn, "Dos yn fy ol i," rhaid cael gwirionedd hen ffasiwn,—yr hen Fibl. Dyma y gwirionedd a luniodd y cymeriadau goreu a welodd y byd erioed. Nid oedd neb yn y wlad dyfalach gyda yr addoliad teuluaidd nag efe. Ni chai dim ond yr hyn nad allai ef ei attal, neu ei osgoi, ei rwystro i addoli Duw yn ei deulu. Tystiai morwyn a fu yn aros yn y teulu, nas gwelodd hi ef erioed yn dyfod i'r tŷ, pa mor flin bynag y byddai, nad äi yn gyntaf at ei Fibl cyn dim arall; ac yn ei hen ddyddiau yr oedd hyn yn glynu wrtho. Er dyfod i'r tŷ yn ei chwys a'i ludded, äi at ei Fibl ar ei union, ac yna ar y gwely i orphwys. Beth fyddai yn myned ymlaen yn yr ystafell wely, nis gallai ddyweyd. Onid oedd yn y fath arferiad gyfaddasder neillduol i buro a chryfhâu y gydwybod? Digon tebyg pe rhoddai llawer lai o'u hamser i ddarllen y papyrau newyddion, a mwy gyda eu Bibl, y byddent yn debycach o gael eu harwain ar hyd canol llwybrau barn, ac yn debycach o sicrhâu y llwyddiant hwnw iddynt eu hunain y maent yn methu ei gyrhaedd trwy dwyll. "Nac ymadawed llyfr y gyfraith hon o'th enau, eithr myfyria ynddo ddydd a nos; fel y cedwych ar wneuthur yn ol yr hyn oll sydd ysgrifenedig ynddo; canys yna y llwyddi yn dy ffyrdd, ac y ffyni."

---

### MRS. MARY JONES, VICTORIA, PENYCAE, SWYDD FYNWY.

Yr oedd y chwaer anwyl uchod yn adnabyddus iawn i luoedd o weinidogion Deheudir Cymru. Gwraig ydoedd i Mr. John Jones, *Bootmaker*, blaenor perthynol i gapel y Methodistiaid Calfinaidd yn Victoria, Penycae, y capel i ba un y perthyna y Parch. David Roberts.

Nid oedd Mrs. Jones yn perthyn i'r dosbarth defnyddiol hyny o wragedd crefyddol a ymwthiant i'r golwg trwy eu bywiogrwydd a'u gweithgarwch—gwragedd a gymerant y blaen bron ymhob ffurf o weithredu sydd yn briodol i wragedd. Yr oedd Mrs. Jones, o'r ochr arall, yn enwog yn y rhinweddau gwylaidd—y *retiring virtues*. Ni chlywid ei llais hi yn yr heol. Ni cheisiai hi wthio ei hun i'r ffrynt. Nid oedd yn adnabyddus i bobl rhengau y tu blaen ond i raddau bychain. Yn ei chylch teuluaidd yr ymddysgleiriai hi.

Dangosodd yn y cylch hwn am flynyddau lawer hyd ei chystudd olaf rinweddau arddderchocaf gwraig, tynerwch mam, a hynawsedd tuag at bawb o fewn cylch ei chydnabyddiaeth. Gellid yn ddibetrus ddyweyd am dani, fel y dywedodd Solomon am y "wraig rinweddol," "Calon ei gŵr a ymddiriedodd ynddi. Hi a wnaeth iddo lês, ac nid drwg holl ddyddiau ei bywyd. Hi a gyfodai liw nos ac a roddai fwyd i'w theulwyth, a'u dogn i'w llancesau. Hi a welodd fod ei marsiandïaeth yn fuddiol. Ni ddiffoddodd ei chanwyll ar hyd y nos. Hi a agorodd ei llaw i'r tlawd, ac a estynodd ei dwylaw i'r anghenus. Yr oedd ei gŵr yn hynod yn y pyrth, pan eisteddai gyda'r henuriaid. Cyfraith trugaredd oedd ar ei thafod hi. Craffodd ar ffyrdd tylwyth ei thŷ. Ni fwytäodd hi fara seguryd. Cododd ei phlant, ac a'i galwasant hi yn ddedwydd. Ei gŵr hefyd sydd yn ei chanmawl hi. Benyw yn ofni yr Arglwydd oedd hi, a hi a gaiff glod. Ei gweithredoedd a roddent ganmoliaeth iddi yn y pyrth." Yr oedd Mrs. Jones yn gymhorth mawr i'w gŵr yn ei fasnach, trwy ei doethineb, ei bywiogrwydd, a'i gwroldeb.

Dygwyd hi i fyny o'i mebyd gyda'i hewythr, Mr. Griffith Davies, crydd, yn Crughywel, yr hwn a symudodd yno o Fachynlleth. Hi a ymbriododd yn Crughywel â Mr. John Jones, dros ddeugain mlynedd yn ol. Symudodd hi a'i phriod i Brynmawr yn 1840. Yno y derbyniwyd hi yn gyflawn aelod o eglwys y Methodistiaid yn nghapel Libanus. Ymfudodd y teulu oddiyno i Benycae yn 1854.

Bu Mrs. Jones mewn tipyn o nychdod fisoedd cyn ei marwolaeth. Darllenai lawer o'r Bibl pan y caffai hamdden. Bu farw ar yr wythfed o Mawrth, 1880, yn y 71 flwydd yn o'i hoed—ei galluoedd cyn hyny wedi parlysu; a chladdwyd hi Mawrth 13 yn *cemetery* Ebbw Vale, sef claddfa Penycae. Daeth lliaws mawr ynghyd i ddangos eu parch i'w choffadwriaeth Darllenodd a gweddïodd y Parch. David Roberts yn y tŷ cyn i'r angladd gychwyn; traddododd y Parch. W. Jones, Beaufort, araeth wresog wrth y bedd; a gweddïodd y Parch. E. Davies, Rhymni. Rhoddodd y Parch. D. Roberts emyn allan i'w ganu, a gadawyd gweddillion ein chwaer yn y bedd hyd fore yr adgyfodiad mawr.

E. D.

---

# Amrywiaethau.

### GOSTYNGEIDDRWYDD AR GYFER HUNAN-FAWRHAD

Yr wyf wedi sylwi, yn mlynyddoedd fy mywyd, fod, nid yn unig ymysg dynion y byd, ond hefyd ymysg cristionogion, lle yr oedd un dyn yn tueddu i ddangos gostyngeiddrwydd, ugain yn barod i amddiffyn eu hunan-fawredd. Os tramgwyddwch chwi ddyn, ïe, a dyn da hefyd, y cyfryw yw gwendid dynol fel mai deg i un y bydd efe yn meddwl mwy am y parchedigaeth sydd ddyledus iddo ef, ac ysgelerder eich trosedd, nag am y cyfleusdra fydd ganddo i ddangos ei ostyngeiddrwydd, ac i ymarfer maddeugarwch. Wel, mi fyddaf yn darllen yn fynych yn y Bibl ein bod i ymdrwsio oddifewn â gostyngeiddrwydd, ac i faddeu i'n gelynion, ïe, a maddeu i'r rhai fyddo yn pechu yn ein herbyn seithwaith yn y dydd; ond nid ydwyf wedi cael allan yn un rhan o'r Bibl ein bod yn cael ein hannog i sefyll i fyny o blaid ein *dignity* ein hunain. Na feddyliwch, fy nghyfeillion, fy mod yn dyweyd y sylwadau hyn wrthych chwi yn fwy nag wrthyf fy hun. Na, na! mae calon gan falched gan yr Hen Humphrey ag sydd gan yr un o honoch chwi, ac eisieu dwyn hyn ar gof iddo ef mor fynych ag i chwithau. Mae ychydig ostyngeiddrwydd o fwy gwerth na llawer iawn o hunan-fawrhâd; a pha les yw codi gwrych fel draenog yn wyneb pob sarhâd a chamwedd bychan i'n herbyn? Gall dial ar elyn roddi pleser am fynyd; ond maddeu iddo a dry yn hyfrydwch parhâus.—*Observations of Old Humphrey.*

### CAMGYMERIADAU.

1. Barnu pobl yn ol safon a wnaed genym ni.—2. Dysgwyl unffurfiaeth barn yn y byd hwn.—3. Sefyll yn ddi-ildio at bethau dibwys.—4. Ein blino ein hunain ac eraill o herwydd yr hyn nas gellir ei wella.—5. Meddwl mai anmhosibl yw pob peth nas gallwn ni ei wneuthur ein hunain.—6. Edrych am farn a phrofiad henaint mewn ieuenctyd.—7. Esgusodi ein diffygion ein hunain.—8. Nacâu cyd-ddwyn â diffygion pobl eraill.—9. Mesur mwynhâd rhai eraill wrth yr eiddom ni ein hunain.—10. Siarad fel pe yn dysgwyl i bobl feddwl ein bod yn deall pob peth.—11. Credu dim ond a allo ein meddyliau egwan ni ei gynnwys.—12. Byw yn unig i'r byd hwn pan y gall pob mynyd ein gosod mewn byd arall.

### DIM AMMHEUAETH.

Y mae hanesyn dwyreiniol yn adrodd am ŵr a ddysgodd i'r parot oedd ganddo ddywedyd, "Nid oes dim ammheuaeth am hyny," a dyna oedd yr holl eiriau a ddysgasai iddo. Efe a aeth â'r parot i'r farchnadfa i'w werthu, gan ofyn cant o ddarnau arian am dano. Pendefig oedd yno a ofynodd i'r parot, "Ai tybed dy fod yn werth can' darn o arian?" Ac atebodd y parot, "Nid oes dim ammheuaeth am hyny." Boddhäwyd y pendefig yn fawr gan y fath ateb, ac efe a brynodd yr aderyn allan o law. Buan y cafodd allan mai dyna'r cwbl a allasai'r parot ei ddyweyd; ac wedi cywilyddio o'i fargen, efe a ddywedodd, "Y fath ynfytyn oeddwn pan yn prynu yr aderyn hwn." "Nid oes dim ammheuaeth am hyny," dolefai y parot fel arferol.

### MEITHRIN BLINDERAU.

Mae rhai pobl mor ofalus am eu blinderau ag ydyw mamau am eu babanod; maent yn eu stio, eu siglo, eu cofleidio, ac yn crio uwch eu penau, ac yn digio wrthych os ceisiwch eu bychanu a'u hysgafnhâu. Mae arnynt eisieu i chwi ymofidio gyda hwy, a chryfhâu eu crêd mai arnynt hwy o bawb y mae'r beichiau trymaf. Pe gallent, hwy a fynent ddarlun o'u caledfyd mewn ffram aur, yn grogedig uwch ben y fantell simnai, er mwyn i bawb ei weled. Ac y mae eu gofid hwy yn eu gwneyd yn hunangar iawn; maent yn meddwl mwy am eu hanwyl ofid bach sydd ganddynt yn eu cryd nag am bawb a phobpeth arall, a dywedant eich bod yn galon-galed os ewch i'w cynghori i beidio a phoeni. "O!" meddynt, "nid ydych chwi yn fy neall i; ni wyddoch chwi ddim byd am wir flinder; nid oes genych un amgyffred am fy mhrofedigaethau i." Druain oeddynt! nid ydynt yn delio dim yn y nwyddau rhagorol o amynedd a dyoddefgarwch.—*C. G.*

## HANES CYFARFOD YR HENADURIAETH YN NONGSAWLIA.

DERBYNIWYD y rhan ganlynol o hanes yr Henaduriaeth oddiwrth Dr. Griffiths. Attelid Mr. R. Evans i fod yn bresennol gan waeledd un o'r plant. Ymddengys wrth lythyrau eraill a ddaethant i law iddynt gael cyfarfod nodedig o hapus.

HYDREF 7—9, 1882.

---

LLYWYDD,—Y Parch. JOHN ROBERTS, Nongsawlia.
YSGRIFENYDD,—Y Parch. Dr. GRIFFITHS, Mawphlang (am y tro).

---

DYDD SADWRN, HYDREF 7FED.

*Cyfarfod o'r Cenadon a'r Cynnrychiolwyr, am* 11 *o'r gloch y bore.*

Dechreuwyd gan U Kypa U Nising, Shillong.

Y Llywydd a adgoffai gymaint y mae yr Henaduriaeth wedi gynnyddu er pan sefydlwyd hi. Cafodd ef a llawer eraill rywbeth yn y cyfarfod cyntaf a gofir ganddynt hyd heddyw. Dylem oll gofio mai at waith *Duw* yr ydym wedi dyfod ynghyd yn awr—gwaith Iesu Grist, yr Hwn a fu farw drosom, a dylem fod yn ffyddlawn i'w achos Ef, fel y bu yntau gyda'n hachos ni.

I. Cenadwriaethau o'r eglwysi:—

1. *Nongsawlia.* Eisieu ychwaneg o ddiaconiaid. Penodwyd y Parch. T. Jerman Jones, ac U Jirkha, Shella, i fyned yno i'w cynnorthwyo.

2. *Shillong*, *Wmsaw*, ac *Wmhyngkha*, tair eglwys lled agos i'w gilydd, a ofynent am ddiaconiaid. Y mae tri eisoes yn yr eglwys gyntaf, ond dim un eto yn y ddwy olaf. Bu holi lled fanwl am yr ail le, a oedd yno ddynion priodol i'w dewis i'r swydd? Rhoddwyd atebion boddhaol fod yno rai (dri neu bedwar) ag y gellir ymddiried gofal y gwaith iddynt mewn cydweithrediad â'r athraw. Penodwyd y Parch. Dr. Griffiths, ac U Ryman, Cherra, i fyned yno i'w cynnorthwyo.

3. *Shillong.* Cynnygiwyd y chwe' brodyr canlynol i sefyll yr arholiad yn Henaduriaeth Jiwai, ymhen y flwyddyn, gyda'r bwriad iddynt fyned ymlaen fel efengylwyr:—U William Lewis, U Barnabas (dau frawd), U Suon Roy, U Morkha, U Rabon, ac U Myngor. Dywedid fod yr oll o honynt yn pregethu er ys amser—rhai er ys llawer o flynyddoedd—ac yn bur gymeradwy. Holwyd yn fanwl ynghylch pa fodd y maent yn byw yn eu tai, a ydyw y tri sydd yn wŷr priod (U Suon Roy, U Morkha, ac U Rabon) mewn heddwch gyda'u gwragedd, &c.? Cafwyd atebion boddhäol. Pasiwyd fod iddynt gael sefyll yr arholiad.

4. *Jiwai.* Gofyn caniatâd i helaethu y capel, a'i doi â haiarn. Dywedid fod yn angbenrheidiol cael £800, a'u bod wedi derbyn £50 o'r addewidion Rhoddwyd caniatâd iddynt fyned ymlaen, a dymuniad arnynt ymaflyd yn y gwaith o ddifrif yn lle *siarad*, gan fod y peth ar droed yn awr er ys tua pum' mlynedd neu ragor.

5. *Shangpoong.* Eisieu rhagor o ddiaconiaid. Penodwyd y Parch. John Jones ac U Kiang Pasa, Jiwai, i fyned yno i'w cynnorthwyo.

II. Darllenwyd y llythyr o'r Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala. Cyfieithwyd y llythyr i'r Khasiaeg, a darllenwyd ef yn y cyfarfod gan U Timothy, Shella.

Y Parch. T. Jerman Jones a ddywedodd, "Yr ydych yn cofio yn dda i Mr. Thomas Lewis ymweled â ni yn Khasia, gan wneyd hyny ar ei draul ei hun, ac o bwrpas i weled y Cristionogion brodorol a'r Cenadon. Y mae yn ddyn rhyfedd, ac wedi teithio yr holl fyd, a gweled llawer o bethau rhyfedd iawn yn ystod ei oes. Gwelodd bethau rhyfedd (iddo ef) yn Khasia hefyd, a llawer o bethau mewn cysylltiad â theyrnas Iesu Grist i'w loni yn fawr. Aeth oddiyma i rai o drefi mawrion India, a phan gyrhaeddodd gartref yr oedd ei gorff 18 pwys yn ysgafnach na phan yn cychwyn; felly nid gorchwyl bychan oedd iddo dd'od i ymweled â chwi, ac nid cariad bychan tuag at y Khasiaid a barai iddo ymgymeryd â'r fath daith. Pan aeth i'r Gymanfa Gyffredinol ac i leoedd eraill yr oedd yn rhaid iddo ddyweyd pa beth a welodd yn Khasia, ac yr oedd y bobl yn Nghymru yn synu a rhyfeddu. Cynnygiodd Mr. Lewis fod y Gymanfa Gyffredinol yn ysgrifenu llythyr at y Cristionogion yn Khasia, a phenodwyd rhai o brif ddynion yr eglwysi yn Nghymru i ffurfio y llythyr. Anfonasant hefyd lythyr i Mrs. Brownlow, am fod y rhai hynaf o honynt yn cofio yn dda ac yn anwyl am ei thad a ddaeth â'r efengyl i chwi gyntaf."

U Kypa U Nising, Shillong, a ddywedai, "Y mae yn dda iawn genyf weled y llythyr hwn. Yr oedd yn dda iawn genyf weled Mr. Lewis, ac yr ydym yn diolch llawer i Dduw am dano ef ac am y cyfeillion yn y Gymanfa Gyffredinol. Ni welsom eu gwynebau, ond clywsom eu geiriau, a dylem ninnau oddiyma anfon llythyr iddynt hwythau i roddi ein *khublei* iddynt."

U Borsing Siim a ddywedai, "Yr ydym yn diolch i Dduw ac iddynt hwythau (y Gymanfa Gyffredinol). Ni a'u cofiwn tra fyddwn byw. Ychydig amser yn ol yr

oeddym yn "bobl y goedwig," ond yn awr yr ydym yn dechreu agor ein llygaid, ac yn diolch i'r cyfeillion yn Nghymru ac i Dduw am hyny."

Y "Gŵr Dall" a ddywedai, "Yr ydym yn teimlo ein calonau yn cynhesu ac yn llosgi wrth wrandaw y llythyr. Dyma y cyfeillion yn Bilât (Ewrop) yn ein cofio pan oeddym feirw; ac yn rhoddi cynghorion mor dda i ni yn awr. Dylem roddi y llythyr hwn yn ein calonau a'i *wneuthur*, a chynhesu a phoethi ein calonau trwyddo fel ag i roddi Khasia ar dân, a dinystrio gallu Satan yn ein mysg."

Penodwyd y brodyr canlynol i ffurfio atebiad i'r llythyr,—U Timothy, Shella, U Ksan Bin, Cherra, U Jeng Lalu, Jiwai, *Pregethwyr;* U Ngorsing, Shillong, *Diacon.*

Hysbyswyd y byddys yn argraffu y Cyfieithiad Khasiaeg i'w ranu yn yr eglwysi trwy Khasia a Jaintia.

III. Hysbyswyd y pynciau ymha rai yr arholir efengylwyr ieuainc yn Henaduriaeth Jiwai, ynghyd a'r arholwyr. Y maent fel y canlyn:—1. Yr Epistol at y Philippiaid: Arholwr,—U Jura. 2. Yr Iawn: Arholwr,—Y Parch. John Roberts, 3. Llyfrau Ezra a Nehemïah yn hanesyddol: Arholwr,—y Parch. R. Evans.

Os bydd rhywrai heblaw y chwech uchod o Shillong yn bwriadu sefyll yr arholiad, cymerir eu hachos dan ystyriaeth yn Henaduriaeth Shillong.

Diweddwyd y cyfarfod gan U Long, Mawlyber.

*Cyfarfod y Brodorion eu hunain am 2 y prydnawn.*

Llywydd,—U Ngorsing, Shillong.
Ysgrifenydd,—U Khersing, Sohbar.

Pwnc,—"Y sefyllfa briodasol, a'r ffordd i'w gwneyd yn ddedwydd." (Cefais gopi o'r papyr a dynwyd allan yn y cyfarfod hwn, ond aeth ar goll yn rhywle. Ymdrechaf gael copi arall, neu gael gan un o'r brodyr gyfieithu ei un ef i'w anfon i chwi.)

*Cyfarfod y Cenadon a'r Cynnrychiolwyr am 5 y prydnawn.*

Dechreuwyd gan U Suon Roy, Shillong.

I. *Hospital* Mawphlang. Siaradwyd ar hyn gan y Parchn. T. Jerman Jones, J. Roberts, a Dr. Griffiths, ac U Ramjan, &c. Nid ydyw y casgliadau wedi dyfod i law oddiwrth y brodorion gystal ag y dysgwylid ar y cyntaf. Y mae Dosbarth Cherra wedi gwneyd yn well na'r un o'r lleill, er eu holl gostau gyda thoi y capel yn ddiweddar; ond awgrymid y gallant hwythau wneuthur mwy eto. Cymhellwyd pawb i gyflawni eu haddewidion, ac i'r rhai sydd wedi rhoddi neu addaw rhy ychydig, i roddi yn ol eu gallu. Gan nad ydyw y cyfrifon wedi dyfod yn llwyr o bob man, nis gellir yn awr roddi cyfrif o'r casgliad.

II. Coffâd am frodyr ymadawedig.

*U Duon*, athraw yn Mawphlang. Dywedwyd gair am ei rinweddau, a'r golled a deimlir ar ei ol, gan y Parchn. T. Jerman Jones a Dr. Griffiths. Yr oedd yn nodedig am ei zel a'i ymroddiad gyda'r gwaith. Teimlai gyfrifoldeb y gwaith yn fawr. Ni chlywyd neb erioed yn dyweyd pethau ysgafn ar ei ol nac am dano. Un peth nodedig ynddo oedd, y dyoddefai i bobl ddyweyd pobpeth casaf a allent ddyfeisio wrtho heb iddo gymeryd tramgwydd; ac o'r ochr arall, gallai yntau ddyweyd unrhyw beth a ddewisai wrth Baganiaid y pentref lle y llafuriai heb i neb gymeryd tramgwydd. Yr oedd ganddo y gallu gwerthfawr o roddi ceryddon trymion heb friwo teimladau neb.

*U Riang Khro*, efengylydd o Jiwai, a fu farw yn ddiweddar o'r *cholera*, ar ei ffordd o Calcutta. Siaradwyd am dano yntau gan y Parchn. T. Jerman Jones a John Jones. Yr oedd yn un o'r pregethwyr hynaf, os nad yr hynaf oll, yn y wlad, ac yn un pur alluog a dylanwadol ar adegau fel pregethwr. Yr oedd yn meddu dylanwad mawr hefyd yn mhentref Jiwai, ac yn haelfrydig gyda'r achos crefyddol. Yr oedd ganddo ei feïau, fel pawb, ond gwell anghofio beïau y marw; ond yr oedd ganddo hefyd rinweddau gwerth eu hefelychu. Tynwyd gwersi buddiol oddiwrth farwolaeth y ddau frawd hyn am ansicrwydd bywyd—un yn marw yn ieuanc iawn, a'r llall yn sydyn iawn. Pe gwybuasent y daethai marw mor fuan, gymaint yn fwy fuasent wedi weithio!

III. Yr achos yn y Dosbarth.

1. *Nongjiri.* Yr athraw ydyw U Ninjun, yr hwn a ddywedai fod y gynnulleidfa ar y Sabboth yn amrywio o 30 i 45, fod yno ddau o Gristionogion heblaw ef, ac fod dau eraill (gŵr a gwraig) yn bwriadu cynnyg eu hunain i'r eglwys. Nifer y plant yn yr ysgol ddyddiol, yr hon a gynnelir yn y boreu, ydyw tuag 20. Bydd hefyd yn dysgu y rhai a ddaw ato gyda'r nos. Ar y Sabboth bydd ganddo bedwar o gyfarfodydd: (1) Cyfarfod Gweddi, (2) Ysgol Sabbothol, (3) Pregethu, a (4) Chyfarfod i ddysgu yr *Hyfforddwr*.

2. *Sohbar.* U Kypa U Beng a ddywedai fod y gwaith y flwyddyn hon yn ymddangos yn fwy llewyrchus nag y bu eto. Gwrandäwyr o 120 i 150 ar y Sabboth. Nifer y Cristionogion tua 40, pa rai ydynt yn aelodau yn eglwys Nongsawlia. Yn yr Ysgol Sabbothol y mae ganddynt saith o ddosbarthiadau (4 i ddynion a 3 i ferched). Y mae y pentref yn fwy ffafriol o lawer

nag y bu. Y maent yn parotoi i adeiladu capel, ac wedi casglu eisoes o gylch £13. U Kher, yr efengylydd, a ddywedai fod pobpeth a ddywedwyd gan U Kypa U Beng yn hollol wir. Y mae y prif ddynion yn awr yn fwy ffafriol o lawer i'r Cristionogion ac i'r Bibl. Y mae yno lawer nad ydynt yn mynychu yr addoliad yn gwneyd arferiad o orphwys oddiwrth eu gwaith, ac yn peidio myned i daith ar y Sabboth. Y mae iaith anweddus ymysg hen bobl a phlant, sydd mor gyffredin ymhob pentref yn y wlad (ac nid oedd Sohbar yn eithriad), yn llawer llai nag y bu, hyd yn nod gan y Paganiaid. Y mae yno lawer, mae yn wir, yn parhâu i aberthu; ond pan welant Gristionogion yn nesâu, bydd arnynt gywilydd, ac ymdrechant guddio yr ŵyau a'r ieir o'r golwg. Yr ydym wedi cael lle yn nghanol y pentref i adeiladu yr ysgoldŷ, am ba un y talasom £8.

3. *Nongthymai (Mawsmai).* U Khnong a ddywedai, "Bydd pregethwr o Nongsawlia yn myned yno bob Sabboth gyda rhai o'r plant i gynnal moddion. Yn y boreu bydd genym ysgol, ac ar ol hyny pregethu. Bydd y gynnulleidfa yn amrywio o 20 i 23. Nifer y Cristionogion ydyw tri. Y mae y pentref yn ffafriol i'r ysgol, ond yn bur galed o berthynas i Gristionogaeth. Nid oes neb yn cynnyg eu hunain i'r eglwys; y mae rhai wedi bod fel pe yn agoshâu, ond wedi hyny yn tynu yn ol."

4. *Mawmluh.* U Kypa Ka Loi, yr athraw, a ddywedai, "Nifer plant yr ysgol ar y llyfrau ydyw 30; *attendance*, 20. Dysgir y rhai hyn yn y boreu. Gyda'r nos byddaf yn casglu y dynion ieuainc at eu gilydd. Yn ystod y dydd byddaf yn myned i bentref bychan sydd yn ymyl. Y mae tua 70 o bobl, hen ac ieuainc, hefyd yn dysgu darllen y Bibl yn eu tai eu hunain. Daw y merched i'r moddion yn lled dda, yn enwedig ar nos Wener i'r bregeth. Ychydig fisoedd yn ol dechreuasom Ysgol Sabbothol, a dysgu y *Catechism* i'r plant. Y mae yno amryw yn teimlo ar eu calonau droi yn Gristionogion, ond yn anewyllysgar i ddyfod o un i un, ac yn aros, meddynt hwy, nes dyfod gyda'u gilydd."

5. PENTREF CHERRA. U Ksan Bin a ddywedai: "Y mae y pentref yn galed. Y maent ar delerau da gyda'r Cristionogion, *fel cyfeillion*, ond yn casâu gair Duw; ac ychydig iawn sydd yno yn dangos un duedd at yr efengyl, a daliant eu gafael yn dŷn yn eu hen grefydd; ac er fod dau neu dri o deulnoedd yn gweled ffolineb y grefydd Gassiaidd, nis gallant ei gadael. Y mae a wnelo balchder lawer â hyn; ac hwyrach hefyd nad ydym ni y gweithwyr ddim wedi bod mor ffyddlawn ag y dylasem. Y mae amryw yn byw yn y pentref sydd yn aelodau yn Nongsawlia, a bydd y rhai hyn yn siarad gyda'r Paganiaid am grefydd. Daw y plant yn dda i'r ysgolion, ond nid ydyw y bobl yn mynychu y moddion crefyddol gystal ag y buont."

U Ryman a ddywedai y derbynir hwynt yn llawen yn y tai, ond dim pellach; ni fynant ddyfod yn Gristionogion. "Pan siaradwn, cydsyniant â'u geneuau ein bod yn dyweyd y gwir; ond pan drôwn ein cefnau, gwnant yn hollol yr un modd âg o'r blaen."

6. NONGSAWLIA. Y "Gŵr Dall" a ddiolchai i Dduw fod pethau yn llawer gwell nag y buont. Nid oes yr un anghydwelediad yn ein plith, na dim i beri cywilydd. Nid ydyw yr achos yn myned i lawr, ac nid ydyw yn cynnyddu rhyw lawer ychwaith, gan fod rhai newyddion yn dyfod i mewn i'r eglwys i lenwi lle y rhai sydd yn syrthio o honi. Y mae yn ymddangos fod bendith Duw arnom. Yr ydym oll, yn genadwr, diaconiaid, ac aelodau, yn un mewn zel gyda'r gwaith.

Y Parch. J. Roberts a ddywedai, "fod mwy yn dyfod i'r moddion y Sabbothau diweddaf nag a fyddai yn arfer. Bydd rhai yn myned o Nongsawlia i bregethu i'r lleoedd bychain o gwmpas, sef Nongthymai, Mawmluh, a'r ddau ysgoldŷ yn mhentref Cherra—Nongrim a Twah. Y mae yma lawer o fechgyn o wahanol leoedd, a gwaith mawr ydyw edrych ar eu hol. Gwna U Khnong hyn, a chymer drafferth fawr gyda hwynt, a hyny heb deimlo trafferth. Y mae y gynnulleidfa ar y Sabboth tua 200. Ar lyfrau yr eglwys—a chyfrif 40 o Sohbar—y mae tua 260. Y mae y casgliadau yn lled dda. Yr ydym wedi toi yr oll o'r capel, a thalu am y cwbl. Nid oeddwn i ar y dechreu yn meddwl toi ond darn o hono y tro hwn; ond gyda £80 neu £90 a gasglwyd yn Nongsawlia a Cherra yn unig, a'r cynnorthwy a gawsom o Gymru, yr ydym wedi gorphen y cwbl ar unwaith. Casglwyd hefyd rhwng £24 a £25 tuag at y weinidogaeth. Yr ydym yn ddiweddar, fel y gwelwch, wedi cael amryw o feinciau newyddion; ac y mae Borsing Siim wedi ein hanrhegu â seren brydferth i oleuo y capel. Y dydd cyntaf o'r flwyddyn byddwn yn gwneuthur casgliad tuag at oleuo y capel, cael lampau, gwydrau, &c., &c., a'r tro diweddaf yr oedd yn cyrhaedd i £3.

"Y mae genym ddosbarthiadau a chyfarfodydd eraill yn ystod yr wythnos fel hyn:—Dydd Llun, bydd gan U Amir gyfarfod gyda'r plant, i ddyweyd yr hyn a gofiant o'r pregethau ar y Sabboth. Dydd Mawrth, bydd genyf fi gyfarfod darllen yn yr hwyr gyda'r dynion mwyaf deallus. Y flwyddyn hon yr ydym wedi bod yn dar-

llen yr Epistol at y Galatiaid, ac wedi gorphen pennod v. Bydd gan Mrs. Roberts hefyd ddosbarth gyda'r merched yn darllen yr Efengyl yn ol Ioan. Daw o 15 i 20 i hwnw. Nos Fercher, cyfarfod eglwysig. Dydd Iau, bydd gan U Khnong ddosbarth o blant dipyn yn hynach na'r rhai yn y dosbarth nos Lun. Bydd gan U Ksan Bin ddosbarth arall yr un adeg o rai hynach eto. Dydd Gwener, bydd pregethu gyda'r nos yn y lleoedd bychain sydd yn agos. Dydd Sadwrn, bydd genyf fy nosbarth Biblaidd drachefn (yr un rhai â dydd Mawrth), yn darllen y Galatiaid. Yn yr hwyr bydd genym gyfarfod gweddi.

"Heblaw yr uchod bydd genyf ddosbarth duwinyddol bob dydd. Arholir y rhai hyn ddwywaith yn y flwyddyn—unwaith gan weinidog o Gymru, ac unwaith gan un o'r Cenadon. Darfu i Mr. Thomas Lewis hefyd eu harholi pan oedd yma; ac y mae un Cyfarfod Misol yn Nghymru wedi penderfynu rhoddi gwobrwyon iddynt yn ol eu teilyngdod yn arholiad Mr. Lewis.

"Y mae yn yr Ysgol Sabbothol tua 170. Dysgant o 700 i 800 o adnodau bob Sabboth. Y mae o 30 i 40 o blant yn dysgu y catecism. Y mae y bobl mewn oed yn dysgu yr *Hyfforddwr*, ac y maent yn ei fedru yn dda.

"Y mae genyf un gŵyn yn erbyn Cristionogion o leoedd eraill, oblegid eu hymddygiad pan fyddant yma ar y Sabboth. (Fe allai, o ran hyny, fod Cristionogion Nongsawlia yr un mor feius pan änt hwythau i leoedd eraill; ac os ydynt, dymunwn i'r brodyr fy hysbysu o hyny.) Daw llawer yma ar nos Sadwrn, ac änt i ffordd dydd Llun; ond bron byth ni ddeuant yn agos i'r Ysgol Sabbothol, ac yn aml i ddim ond un o'r cynnulliadau eraill. Gobeithio y ceir gwelliant yn hyn."

### Dydd Sabboth.

Am 7 y boreu cynnaliwyd cyfarfod gweddi, i ofyn am fendith ar bregethiad yr efengyl yn ystod y dydd. Am 10 o'r gloch, dechreuodd U Ngorsing, Shillong; pregethodd U Jura, Mairang, oddiar Ioan xix. 30; a'r Parch. J. Jones, oddiar 2 Cor. v. 18—20. Am 1 o'r gloch, dechreuodd U Timothy, Shella; pregethodd U Jang Lalu, Jiwai, oddiar Gen. xlv. 4; a'r Parch. T. Jerman Jones, oddiar 1 Sam. xvii. 45. Am 4 o'r gloch, dechreuodd U Ksan, Shella; pregethodd U Surup, Nongkrem, oddiar 1 Thess. v. 22; a'r Parch. Dr. Griffiths, oddiar Luc xxiii. 34. Am 7 30, cyfarfod eglwysig cyffredinol. Dechreuwyd gan y Parch. G. Hughes. Y pwnc i siarad arno oedd yr un ag a fu o dan sylw yn nghyfarfod y brodorion dydd Sadwrn, sef, 'Y Sefyllfa Briodasol, a'r ffordd i'w gwneyd yn ddedwydd.'"

[Yr oeddym wedi cysodi llythyr maith oddiwrth y Parch. W. Jenkyn Jones, yn rhoddi hanes dyddorol am y gwaith yn Lorient, ond yr ydym dan orfod, o ddiffyg gofod, i'w adael allan.]

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cymunrodd Mr. William Wheldon, Llanberis, tuag at y Genadaeth yn Khasia, trwy law ei Gymunweinyddwr, Mr. W. Hughes, Pentre, Castell, Llanberis.... | 5 | 0 | 0 |
| Rhodd Mr. John Wheldon at yr unrhyw | 1 | 0 | 0 |
| Hatling "Jonathan,"—eto, trwy law yr Ysgrifenydd ........................ | 1 | 1 | 0 |

Dymuna y Trysorydd gydnabod hefyd ei fod wedi derbyn £31 10s., gweddill cymunrodd priod y diweddar Barch. Edward Jones, Portsmouth, Ohio, U.D., trwy law Mrs. E. W. Jones.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

Dymuna Cyfarwyddwyr y Genadaeth Dramor ar i'r Swyddogion ymhob eglwys annog y plant i ddefnyddio y Tocynau neu y Blychau Cenadol. Gellir cael unrhyw nifer ond anfon at yr Ysgrifenydd. Gallai y plant, ond cael eu cyfarwyddo i hyny, wneuthur llawer dros ystod y pedwar mis o hyn hyd ddiwedd Mawrth tuag at chwyddo y casgliad.

Dymuna y Cyfeisteddfod Gweithiol alw sylw neillduol at y pwysigrwydd fod i'r arian a gesglir gan y plant at y Genadaeth Dramor gael eu hanfon yn gyfan i Drysorfa y Genadaeth. Pa beth bynag a ddywedir am y priodoldeb o ranu y Casgliad Cenadol, mae yn hollol ddealledig fod yr arian a gesglir â Blychau a Thocynau y Genadaeth Dramor i'w neillduo yn gyfangwbl i amcanion y Genadaeth hono.

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.



*Yr eiddoch*
*Yn barchus*
*Wm. Powell*

# Y DRYSORFA:

CYLCHGRAWN MISOL

Y

# METHODISTIAID CALFINAIDD.

## 1883.

Llyfr XXXVII. o'r Gyfres Newydd, a Llyfr LIII. o'r Hen Gyfres.

---

TREFFYNNON:
CYHOEDDWYD GAN P. M. EVANS AND SON.
MDCCCLXXXIII.

# CYNNWYSIAD.

**Traethodau.**


Tu dal.

Athrawiaeth yr Ymgnawdoliad, gan y Parch. J. Cynddylan Jones ... 281
Cariad: sylwadau ar 1 Cor. xiii., gan y Parch. H. Jones, Liverpool ... 161
Coethwas Iesu Grist y Pregethwr i'r Oes, gan y Parch. T. Charles Edwards, M.A. ... ... ... ... ... 321
Cynnydd y Cyfundeb a Chynnydd y Boblogaeth, gan Weinidog ... 130, 206
Cynghor i Flaenoriaid Ieuainc, gan Mr. R. Mills, Llanidloes ... ... 288
Dagrau y Bibl, gan Persis ... ... 169
Dilyn Cyfiawnder a Thrugaredd, gan y Parch. R. Edwards, yr Wyddgrug ... 241
Duw yn y cnawd, gan y Parch. J. D. Symmons, Abergwaen .. ... 441
Duwinyddiaeth a Moesddysg, gan y Parch. W. Thomas, Dyffryn Ardudwy 401
Dyn, gan R. P., Porthdinorwic ... 89
Ebenezer, neu ddiwedd un flwyddyn a dechre y llall, gan y Parch. T. Rees, Merthyr ... ... ... ... ... 5
Edifeirwch, gan y Parch. Llewelyn Edwards, M.A. ... ... ... ... 81
Ein Llysoedd Eglwysig, gan y Parch. J. Eiddon Jones:—
i. Y Gymdeithasfa ... ... 8
ii. Pwyllgorau y Gymdeithasfa ... 46
iii. Pwy sydd i fyned i'r Gymdeithasfa ... ... ... 87
Y Gymanfa Gyffredinol ... ... 404
Gras ar gyfer Deddf, gan y Parch. W. Powell, Penfro ... ... 1
Gras dan y cyffelybiaeth o Halen, gan y Parch. O. Jones, Llandudno 165, 210
Gweddi: yn ei pherthynas â phethau tymmorol, gan Mr. S. Thomas, Salford 251
Mabwysiad, gan y Parch. Jonathan Jones, Dinbych ... ... ... 446
Marwolaeth y saint: pregeth angladdol y diweddar Mr. T. F. Roberts, Llanidloes, gan y Parch. N. C. Jones 127
Pa beth a allem ac a ddylem wneuthur tuag at y rhai sydd yn esgeuluso moddion gras, gan y Parch. E. Jones, Pentrecelyn ... ... ... 327
Penarglwyddiaeth yr Ysbryd ac Arwyddion yr Amserau, gan y Parch. J. Evans, Abermeurig ... . ... 121, 201

Tu dal.

Pregeth Goffadwriaethol am y diweddar E. Peters, Ysw., Caerlleon, gan y Parch. J. P. Davies, M.A. ... ... 247
Rhodio yn ngoleuni yr Arglwydd, gan y Parch. R. Herbert .. ... ... 49
Rhyfel y saint, gan y Parch. J. Williams, Llanerchymedd ... ... ... 361
Tystion Iesu Grist, gan Mr. J. A Parry, Crosswood ... ... 405
Undeb credinwyr â Christ, gan y Parch. W. Ryle Davies, Arfon ... ... 366
Y Drysorfa Gynnorthwyol, gan y Parch. E. Roberts, Caernarfon ... 41, 84
Y gwyliedydd, beth am y nos? gan y Parch. H. Roberts, Rhydymain ... 331
Y Weinidogaeth, gan Timotheus 43, 132


**Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.**


Adgof am Gyfarfod Ysgolion Edeyrnion, gan Mr. Robert Edwards, Cynwyd ... 217
Adgofion am y Carneddi, Bethesda, gan Llechidon ... ... 379, 414, 457
Adgofion Mebyd o'r Abermaw ... 178
Anghymedroldeb, gan y Parch. D. Rowlands, M.A. ... ... ... ... 15
Bywiol yw gair Duw, a nerthol ... 101
Cynghor ar dderbyniad Blaenoriaid, gan Mr. Edward Ellis, Dinbych... ... 58
Dechreuad a Chynnydd Methodistiaeth yn y Waenfawr, Arfon, gan y Parch. Francis Jones ... ... 175, 220
Ein Plant a'r Iaith Saesoneg, gan Mr. Eleazar Roberts, Liverpool... ... 99
Holiadau am Aberth Crist a'r Iawn, gan y Parch. Dr. Edwards ... ... 20
Hunangofiant Rhys Lewis, gweinidog Bethel. Yr Ail Ran.
Pennod I. Wil Bryan ... ... 11
" II. Dechreuad Gofidiau ... 53
" III. Dydd y Brofedigaeth ... 91
" IV. Ychwaneg o Brofedigaethau ... ... 135
" V. Thomas a Barbara Bartley... ... ... 172
" VI. Abel Hughes ... ... 213
" VII. Gwawr ... ... 254
" VIII. Dychweledigion ... 292

Tu dal.
Pennod IX. Ymweliad mwy nag un perthynas ... ... 334
" X. Bob ... ... ... 370
" XI. Adgofion Prudd a Dyddanol ... ... 409
" XII. Marwnad Ryddieithol ... 450
I'r Dwyrain, gan Mr. E. Owen, Bootle 339, 375, 454
Llythyr oddiwrth y diweddar Barch. W. Roberts, Amlwch ... ... ... 297
Taith ar draws Cyfandir America 102, 258, 343
Y dull goreu i ddwyn y Cyfarfod Eglwysig ymlaen, gan y Parch. B. Hughes, Llanelwy ... ... ... 97, 140
Ychydig adgofion am Gymdeithas Cymedroldeb a'r Gymdeithas Ddirwestol yn Llanuwchliyn, gan Mr. Edward Edwards ... ... ... ... 142


---

### Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.


Genesis xiii. 8, 9 ... ... ... 104
Job xlii. 10... ... ... ... 21
Diarebion xvi. 16 ... ... ... 461
" xxvii. 8 ... ... ... 179
Actau xx. 10 ... ... 179
Rhufeiniaid vii. 18, 23 ... ... 420
" viii. 15 ... ... ... 21
Prophwydi y Testament Newydd 418, 460
"Tŷ fy Nhad" ... ... 224, 298
Yr Ysgrifenyddion ... ... ... 20
Ysbrydoliad Efengylau Marc a Luc ... 103


---

### Darlleniadau Detholedig.


Anghen ein gwlad a Chymdeithas Dirwest ... ... ... ... 421
Arwireban ... ... ... 346, 422
Awdurdod yr Iawn ... ... ... 260
Crist i'w bregethu yn wresog ... ... 146
Crist yn Fachnïydd ... ... ... 64
Duw yn cyhoeddi ei foddlonrwydd yn ei Fab ... ... ... 63
Effeithiolrwydd Cariad Cristionogol ... 259
Gweddïo mewn Ffydd ... ... 63
Gwyrthiau ... ... ... ... 145
John Evans, Llwynffortun ... ... 421
Llewyrch y Gogoniant ... ... 62
Llwyddiant Gweddi .. ... ... 345
Masnach a Masnachwyr ... ... 344
Pregethu yn eglur ... ... ... 421
Y Cyfarfodydd Gweddïau ... ... 146
Y ddau dŷ yn y diwedd ... ... 260
Ymadroddion y Doethion ... 64, 147, 260
Yr enw Cristionogion ... ... 420


---

### Barddoniaeth.


Anghrediniaeth ... ... ... 382
Awdl Farwnad Mr. Richard Morris, Llanarmon, Dyffryn Ceiriog ... 147
Bara ... ... ... ... 107
Bwyd a Bwytäwyr ... ... ... 382
Byrdra Bywyd ... ... ... 348
Cariad Crist at ei Bobl ... ... 22
Cefnfor Cariad ... ... ... 227
Crist ger bron Pilat ... ... ... 423
Emynau Diolchgarwch am y Cynauaf 346
Fy mhrofiad ... ... ... 382
Gweddi ... ... ... ... 262
Job ... ... ... ... 184
Llais yr Iesu ... ... ... 226
Pa ragoriaeth yr ydych chwi yn ei wneuthur? ... ... ... ... 22
Pennillion Cân ... ... ... 65
Pennillion coffadwriaethol ... ... 261
Preswyliad ysbrydol Duw ... ... 423
Swper yr Arglwydd ... ... ... 106
Y Bachgen Dall ... ... ... 183
Y Pererin ar ben ei daith ... ... 106
Yr Iesu yn yr Ardd ... ... ... 64


---

### Bwrdd y Golygydd.


Cyflwr Enaid heb Gorff ... ... 149
Cymdeithas Brydeinig a Thramor y Morwyr ... ... ... ... 301
Cymdeithas Genadol Gartrefol Gogledd Cymru ... ... ... ... 462
Cymunroddion haelionus ... ... 228
Deon Bangor ar yfed Tê ... ... 424
Gwelliant Gwall ... ... ... 302
Marwolaeth y Parch. Dr. William Rees 462
Methodistiaeth Galfinaidd yn Patagonia 228
Mulod ac Asynod ... ... 425, 462
"Na ato Duw" ... ... 65
Pedwar-Canmlwyddiad Luther ... 424
Swper yr Arglwydd ... ... 25, 348
Tröedigaeth hynod Anffyddiwr yn Ffrainc ... ... ... ... 287
Y Llythyrgod a chludiad y ddwy Drysorfa ... ... ... ... 463
Yswiriant Capeli 65, 149, 227, 462
Yswiriant Meddianau y Methodistiaid Calfinaidd ... ... ... 24


---

### Adolygiad y Wasg.


Barddoniaeth Grefyddol.—*A Library of Religious Poetry* ... ... 66
Briwsion Duwinyddol, gan R. C. Owen 427
Canenon Cadvan ... ... ... 466
Cofiant a Gweithiau y Parch. R. Ellis, Arfon ... ... ... ... 383
Cofiant a Phigion o Bregethau y Parch. Michael Roberts, gan J. Jones, F.R.G.S. 262
Dros Gyfanfor a Chyfandir, gan W. D. Evans ... ... ... ... 264
Gemau Duwinyddol, gan R. Jones, Llanllyfni ... ... ... ... 264
Gwaith Barddonol Hwfa Môn .. ... 426
Handbooks for Bible Classes:
Lessons on the Life of Jesus, by Rev. W. Scrymgeour, M.A. ... ... 463
Presbyterianism, by Rev. John Macpherson, M.A. ... ... 463

Tu dal.

The Book of Genesis, by Marcus Dods, D.D. ... ... ... 29
The Reformation, by T. M. Lindsay, D.D. .. ... ... ... 29
Hanes yr Athrawiaeth Gristionogol, gan Dr. Hughes ... ... ... 425
Hiraethgan ar ol y diweddar Barch. J. Evans, Croesoswallt, gan Daniel Owen 350
History of Protestant Nonconformity in Wales, by T. Rees, D.D. ... ... 382
Jubilee Lectures of the Congregational Union .. ... ... ... 184
Llyfrau gan Gymdeithas y Traethodau Crefyddol:
Assyrian Life and History ... 464
Cleopatra's Needle ... ... 464
Luther's Table Talk, edited by Dr. Macaulay ... ... 464
Martin Luther, the Reformer of Germany .. ... ... 464
The Authority of Scripture, by the Rev. R. A. Redford, M.A. ... 464
Traethodau Bywgraffyddol, gan T. L. – Rhys Pritchard ... ... 349
Syr Hugh Owen... ... 68
Pregethau y diweddar Barch. E. Morgan, Dyffryn. Yr ail gyfrol ... ... 25
Testament y Miloedd, gan y Parch. J. Ogwen Jones, B.A. ... ... 263
The Worship of St. Wenefrede, by T. G. Owen ... ... ... 27
The new Handbook of Sunday-School Addresses, by the Rev. R. Tuck, B.A. 464
The so-called Salvation Army... ... 185
Y Gyfres Wleidyddol, gan J. Evans, B.A. ... ... ... 466
Y Testament Newydd Diwygiedig, o gyfieithiad y Parch. J. Ogwen Jones, B.A. 263

Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth Galfinaidd.

Arholiad Athrofa y Bala ... ... 311
Bettws y coed ... ... ... 72
Capel Mynydd y Fflint ... ... 108
" newydd Seisonig Caernarfon ... 311
" Tan y groes, Dehau Aberteifi ... 107
" y Groeslwyd ... ... ... 395
Cofgolofn Daniel Rowlands, Llangeitho 394
Croesawiad y Parch. D. Saunders yn Colorado ... ... ... ... 396
Croniclau Haelioni ... ... ... 34
Cydnabod Caredigrwydd ... ... 153
Cydymdeimlad â Syr W. W. Wynn ... 109
Cymanfa y Pasg yn Ffestiniog ... 195
Cymry Spennymoor ... ... ... 73
Cymydogaeth Ddirwestol ... ... 237
Gwernaffield, gerllaw yr Wyddgrug ... 395
Llundain—Cymanfa y Pasg ... ... 194
Marwolaethau Gweinidogion ... ... 396
Marwolaeth Mr. R. Brunt, Wrexham ... 193
" y Parch. D. Edwards, Glanrafon ... ... ... 353
" y Parch. W. M. Evans, Australia... ... ... 428
" y Parch. W. Herbert, Cysegr ... ... ... 273

Tu dal.

Marwolaeth y Parch. Joseph Hughes, Gwernymynydd ... 108
" Mr. Ioan Jones, Rhuthyn... 236
" y Parch. J. Jones, Penycae 354
" y Parch. W. Jones, Llanberis... ... ... 236
" y Parch. David Morgan, Ysbytty Ystwyth ... 470
" y Parch. R. Roberts, Dolanog ... ... ... 34
" Mr. T. F. Roberts, Llanidloes ... ... 108
" Mr. D. H. Saunders, Abertawe ... ... ... 109
Marwolaeth Mamau yn Israel ... 196
Pembroke Dock: Ailagoriad y Capel ... 470
Penarth, gerllaw Caerdydd .. ... 428
Sefydliadau a Symudiadau Gweinidogion ... 33, 72, 153, 232, 395
Tysteb i'r Parch. P. Ellis, Penybryn ... 428
" " — W. James, Aberdâr ... 316
Wallaroo, Australia .. ... 109, 153
Wythnos y Gweddïau ... ... 34
Y Boneddwr haelionus o Landinam ... 107
Y Canmlwyddiad yn Liverpool ... 33
Y Cymdeithasfäoedd Chwarterol:
Y Rhyl, Rhagfyr, 1882 ... 30, 69
Aberystwyth, Mawrth, 1883 ... 188
Llanfyllin, Ebrill, 1883 ... 229
Llanddeusant, Mehefin, 1883 ... 271
Yr Wyddgrug, Mehefin, 1883 ... 306
Dinas, Penfro, Awst, 1883 ... 384
Bangor, Awst, 1883 ... ... 386
Pontfaen, Hydref, 1883 ... ... 466
Y Gymanfa Gyffredinol ... 268, 302
Y Parch. D. C. Davies, M.A. ... 33
" D. Saunders yn yr America ... 316
" Humphrey Williams, Ffestiniog ... ... ... 108
Y Sabboth a Chanu Cystadleuol ... 276
Ymweliadau âg America ... ... 194
Yr Achosion Seisonig yn Ngogledd Cymru ... ... ... ... 350
Yr Adfywiad yn Lleyn ac Eifionydd ... 152
Yr Arholiad Cymdeithasfäol ... ... 72

Bywgraffiaeth.

Davies, Mrs., Penlân, Tregaron ... 113
Elias, Mr. John, Gareglefn ... ... 195
Ellis, Mr. Thomas, Plasmawr ... ... 273
Jones, Y Parch. William, Abertawe ... 429
Lewis, Mr. Siencyn, Penfer ... ... 197
Parry, Mr. David, Tainewyddion ... 430
Richards, Y Parch. John, Llechryd 73, 110
Thomas, Mr. Robert, Rhosllanerchrugog 274
Williams, Y Parch. Griffith, Talsarnau 153
Willliams, Mr. John, Llanfrothen ... 34
Williams, Mr. W. F., Llanerchymedd ... 276

Amrywiaethau.

Adda Ddu ... ... ... ... 356
Addfwynder Rowlands, Llangeitho ... 396
Ammheus ... ... ... ... 277

| | Tu dal. |
|---|---|
| A oes olew yn eich lamp? ... ... | 157 |
| Beirniadaeth ... ... ... | 434 |
| Beth a wnaf fi? ... ... ... | 36 |
| Bod yn gysurus ... ... ... | 277 |
| Byw ar awyr ... ... ... | 35 |
| Canol y bregeth ... ... ... | 434 |
| Canu cysegredig ... ... ... | 237 |
| Canu dros yr Iorddonen ... ... | 198 |
| Cof drwg ... ... ... ... | 433 |
| Crefydd heb attal y tafod ... ... | 36 |
| Cyfarwyddyd i leidr .. ... ... | 317 |
| Cyfoeth mawr yn ddiwerth ... ... | 277 |
| Cynghorion i Rieni ... ... ... | 35 |
| Chwain cymdeithas ... ... ... | 397 |
| Daear a Nefoedd ... ... ... | 433 |
| Darogan y tywydd ... ... ... | 355 |
| David Evans, Aberaeron ... ... | 116 |
| Dim adeiladaeth ... ... ... | 76 |
| Diolchiadau ... ... ... | 277 |
| Dyfaliadau prophwydol ... ... | 355 |
| Dysgu oddiwrth golled ... ... | 115 |
| Dysgyblaeth ... ... ... | 238 |
| Ein cyfrifoldeb ... ... ... | 433 |
| Ennill eneidiau ... ... ... | 433 |
| Esgus dros beidio codi yn fore ... | 76 |
| Gair i Rieni .. ... ... | 356 |
| Geiriau doethineb gan Negro ... ... | 356 |
| Gras o flaen bwyd .. ... ... | 198 |
| Gweddi Mam ... ... ... | 157 |
| Gwers gan y sugnedydd ... ... | 237 |
| Gwirioniaid mewn addoliad ... ... | 317 |
| Gwneuthur i Grist ... ... ... | 355 |
| Gwyliadwriaeth ... ... ... | 433 |
| Hen Negro cristionogol ... ... | 433 |
| Llafar yr Olwynion .. ... ... | 277 |
| Lleihâd ymyfed ... ... ... | 76 |
| Lleoedd tröedigaethau ... ... | 237 |
| Marah ac Elim ... ... ... | 355 |
| Nid yn un ... ... ... ... | 277 |
| Presbyteriad o'r iawn ryw ... ... | 116 |
| Proffeswyr dideimlad... ... ... | 157 |
| Rhyddid a Rhaid ... ... ... | 115 |
| Sefyll i ganu ... ... ... | 355 |
| Swyddogion eglwysig i gadw cyfrinach... | 396 |
| Tarawiad dynol yn ddigon ... ... | 198 |
| Tri Dosbarth .. ... ... | 76 |
| Tori y gorchymynion ... ... | 355 |
| Torth i Grist ... ... ... | 197 |
| Y baich ar y cefn ... ... ... | 277 |
| Y Cenadon yn yr India ... ... | 238 |
| Y dyn dadleugar .... ... | 198 |
| Y gŵr boneddig a'r talu ... ... | 397 |
| Y gyfrinach am lwyddiant ... ... | 355 |
| Y weddi am iawn dymher ... ... | 356 |
| Ymddangosiad ysbryd ... ... | 317 |
| Ymestyn at Berffeithrwydd ... ... | 238 |
| Ymweliadau weinidogaethol â chleifion | 357 |
| Yr Amen ... ... ... ... | 434 |
| Yr anifail ... ... ... ... | 277 |
| Yr Hen Bregethwr ... ... ... | 115 |
| Yr ysbardunau arian... ... ... | 397 |
| Yr ysgolfeistr meddw ... ... | 237 |

Croniol y Genadaeth Dramor.

Bryniau Khasia a Jaintia:—
Llythyrau oddiwrth y Parch. R. Evans 116, 158, 239, 356, 437, 470
" oddiwrth y Parch. Dr. Griffiths 118, 320, 397, 436, 471
" oddiwrth y Parch. G. Hughes 119, 198, 318, 357
" oddiwrth y Parch. J. Jones 118, 318, 398
" oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones, 76, 159, 238, 279, 399, 434
" oddiwrth y Parch. J. Roberts 38, 77, 357

Llydaw:—
Llythyrau oddiwrth y Parch. W. Jenkyn Jones 36, 120, 278, 358, 438, 472
Rhanau o Adroddiad M. Groignec 38, 278, 438

At y Trysoryddion Sirol ... ... 120
Casgliad Cenadol y Plant 199, 320, 360, 440
Cydnabyddiaeth o Roddion ... ... 80
Cyfnewidiad Blwyddyn Arianol y Genadaeth ... 280, 320, 360, 400, 474
Derbyniadau tuag at y Genadaeth 40, 80, 120, 160, 199, 240, 280, 320, 360, 400, 440, 474
Ordeiniad Mr. J. Thomas fel Cenadwr... 440
Sabboth Cenadol y Plant ... ... 120

# Y DRYSORFA.

RHIF. 627.] IONAWR, 1883. [LLYFR LIII.

## GRAS AR GYFER DEDDF.

GAN Y PARCH. WILLIAM POWELL, PENFRO.

RHUFEINIAID viii. 3, 4: "Canys yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd, Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd, fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni, y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd."

Y DDEDDF, yr efengyl, a chymeriad y rhai sydd wedi derbyn yr efengyl, yw y gwirioneddau sydd yn yr adnodau hyn. Mae'r ddeddf a'r efengyl yn cydgerdded mewn heddwch â'u gilydd yn nhrefn ein hiachawdwriaeth, a'r ddwy i'w gweled yn mywyd y rhai sydd yn credu; ac o dan ddylanwad gras Duw, y mae'r naill yn arwain i'r llall. "Trwy y ddeddf y mae adnabod pechod;" ac y mae gwir adnabyddiaeth o bechod yn arwain at y Gwaredwr. "Nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg, ond i'r rhai cleifion." "Y ddeddf oedd ein hathraw ni at Grist, fel ein cyfiawnheid trwy ffydd." Gan y ddeddf y mae'r pechadur yn cael ei gondemnio; a chan yr efengyl y mae yn cael ei gyfiawnhâu. Os gosodir y ddeddf yn erbyn yr efengyl, a'r efengyl yn wrthwyneb i'r ddeddf, yna nid all fod iachawdwriaeth i'r troseddwr, na gogoniant i Dduw. Mae'r ddwy yn cael eu dyrchafu yn achubiaeth yr hwn sydd yn credu yn yr Iesu. "Na thybiwch," meddai yr Iesu, "fy nyfod i dori y gyfraith, neu y prophwydi; ni ddaethum i dori, ond i gyflawni." Yr ydym yn cael yn mhrofiad yr Apostol Paul y golwg a gymerir arnynt, a'r teimladau a feithrinir tuag atynt, gan bob gwir cristion. Am y ddeddf efe a ddywed, "Ymhyfrydu yr wyf yn nghyfraith Duw, yn ol y dyn oddimewn;" ac am yr efengyl, "Nid oes arnaf gywilydd o efengyl Crist, oblegid gallu Duw yw hi er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu." Yr oedd efe yn ymhyfrydu yn y ddeddf am iddo gredu yn yr efengyl.

Ni a geisiwn edrych ar wirioneddau y testun fel y mae'r Apostol wedi eu gosod o'n blaen.

I. ANALLU'R DDEDDF: "Yr hyn ni allai y ddeddf, o herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd."

I egluro hyn, ni a geisiwn ateb tri o gwestiynau.

1. *Pa ddeddf a feddylir?* Heb amgylchynu dim, atebwn ar unwaith, Y ddeddf foesol. Yn niwedd y bennod y gelwir hi, "Cyfraith Duw." Dyma y gyfraith ag sydd "yn sanctaidd, ac yn gyfiawn, ac yn dda." Y ddeddf hon a ysgrifenwyd yn enaid neu yn nghalon yr Adda cyntaf. "Duw a greodd y dyn ar ei ddelw ei hun." Crewyd ef "yn ol Duw mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." Y pryd hwnw yr oedd y dyn yn feddiannol ar bob gallu moesol i ufuddhâu yn berffaith i bob gofyniad o eiddo'r ddeddf. Yr oedd ufuddhâu yn naturiol iddo, fel y mae yn naturiol i'r llygad weled, a'r glust glywed. "Wele hyn yn unig a gefais, wneuthur o Dduw ddyn yn uniawn." Ond trwy droseddiad y gorchymyn pendant, ynghylch pren gwybodaeth da a drwg, efe a droseddodd y ddeddf foesol, ac a halogodd y ddelw ymha un y crewyd ef, ac felly a aeth yn bechadur yn erbyn Duw. Ar ol hyn cyhoeddwyd y ddeddf, yr un ddeddf, gyda rhwysg a gogoniant mawr, mewn deg o orchymynion ar fynydd Sinai, y rhai a ysgrifenwyd ar lechau o geryg, ac sydd i fod o flaen llygaid dynion bob amser i ddiwedd y byd. Rhoddwyd y ddeddf mewn deg gorchymyn,

[1.] I ddangos yr hyn a droseddwyd ganddo trwy bechu. Un gorchymyn? O na, deg gorchymyn. Ac yn hyn y gwelir y lled, a'r hŷd, a'r dyfnder, a'r uchder, a ofynir yn ei gyfraith gan Dduw, a pha beth a droseddir trwy bechod, ac ynglŷn â'r troseddiad glywed y ddedfryd: "Gan farw ti a fyddi farw." "Cyflog pechod yw marwolaeth."

[2.] I argraffu ar ein meddwl fod ein rhwymedigaeth i'r ddeddf i barhâu. Er i ni golli trwy bechod ein gallu i ufuddhâu i'r ddeddf fel ammod bywyd, eto ni chollodd hi ei grym i orchymyn, yn ol ei hawl arnom. Mae hawliau y ddeddf arnom yn anghyfnewidiol a thragywyddol. Yr hyn yr oedd hi yn ei ofyn yn Eden a orchymyned ganddi ar Sinai; a'r ufudd-dod yr oedd yn ei orchymyn ar Sinai, a ofynir ganddi gan bob dyn hyd heddyw. Yn hyn, "nid ä un iod nac un tipyn o'r gyfraith heibio." Pery hawl y ddeddf arnom, a phery ein cyfrifoldeb ninnau i Dduw am ein hymddygiad tuag ati, tra yr aroso y Deddfroddwr ar ei orsedd. Hon yw y ddeddf y mae'r Apostol yn ei dwyn o'n blaen.

2. *Pa beth yw yr hyn na allai y ddeddf ei wneuthur?* Mae'r ddeddf bob amser yn gorchymyn "Gwna hyn," ac "Na wna" y llall, ac eto y mae gwaith nas gall hi ei wneyd. "Yr hyn ni allai y ddeddf." Mae nerth yn gysylltiedig â'r ddeddf; nerth Hollalluogrwydd, nerth gwirionedd, nerth cyfiawnder, i gosbi y pechadur am ei anufudd-dod; ond y mae hi yn rhy wan i waredu y troseddwr; mae yn gryf i gosbi, ond yn rhy wan i achub.

[1.] Mae'r ddeddf yn analluog i gyfiawnhâu yr euog. Os yw'r pechadur i gael ei waredu, mae yn rhaid i ddeddf Duw gyfiawnhâu yn gyntaf. Y cyfiawn y mae'r ddeddf yn ei ryddhâu; nid all wneyd hyny â'r troseddwr. Cyhoeddi y ddedfryd, a gweinyddu'r gosb, yw yr hyn a all hi iddo ef. "Trwy weithredoedd y ddeddf, ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef, canys trwy y ddeddf y mae adnabod pechod." Pechod sydd yn dyfod i'r golwg yma ganddi a thrwyddi hi, ac am hyny ni chyfiawnheir neb trwy'r ddeddf ger bron Duw. Mae'r ddeddf yn alluog mewn gofyn ufudd-dod, ond yn analluog i symud euogrwydd anufudd-dod. Mae yn gref i ofyn cyfiawnder, ond yn rhy wan i gyfiawnhâu. Gofyna am wisg weddus, ond nis gall barotoi yr un i'r noeth. Mae hi yn carcharu yn gyfiawn, ond yn analluog i agor y carchar i'r anghyfiawn. Gofyna y ddyled i gyd, ond heb fedru maddeu yr un hatling. "Gan farw ti a fyddi farw," dyna a ddywed hi, a dim arall. Mae ei character mor ddysglaer, fel na fedr wneyd un cyttundeb â'r pechadur ond ar dir cyfiawnder.

[2.] Mae'r ddeddf yn analluog i sancteiddio yr aflan. Yr ydym trwy bechod, nid yn unig yn euog, ond hefyd yn aflan neu lygredig—yn halogedig, cnawd ac ysbryd. Mae'r ddeddf yn rhy wan yn ei dylanwad i symud pechod o'r dyn oddimewn. Er ei bod yn gwrthdystio yn uchel a chryf yn erbyn pechod, nis gall orchfygu pechod yn y galon. Nid oes, fe allai, un wlad lle y mae cyfraith yn gryfach mewn awdurdod ar ei deiliaid na Phrydain Fawr, ac er hyny y mae'r drwgweithredoedd mwyaf ysgeler yn cael eu cyflawni yn ein gwlad. Anallu'r ddeddf sydd yn hyn yn dyfod i'r golwg. Mae deddf Duw rai prydiau yn llefaru gyda'r fath lymder a grymusder nes y mae'r pechadur yn crynu trwyddo, ac eto parhâu i bechu y mae efe. Hi a esyd attalfeydd o flaen y pechadur—yn gwahardd ac yn bygwth — ond yn ngwyneb pobpeth y ddeddf, aros yn ei aflendid y mae dyn syrthiedig. Mae yn amlwg fel hyn mai ofer i ni edrych at y gyfraith am gyfiawnhâd nac am sancteiddhâd.

3. *Paham y mae'r ddeddf yn analluog fel hyn?* "O herwydd ei bod yn wan trwy y cnawd." Nid oblegid fod un gwendid yn natur y ddeddf ei hun, nac yn ei hawdurdod; ond gwan ydyw trwy y cnawd, a hyny yw ein natur bechadurus a llygredig ni. Yn nghyflwr a sefyllfa y pechadur y mae'r gwendid. Y maen ag sydd yn hollti yn deilchion dan ergydion y morthwyl, ni wneir byth gerflun o hwnw. Pa le y mae'r anallu? Ai yn y cerfiwr? Nage, ond yn y maen —yn ansawdd y gareg. Nis gall yr haul er ei holl oleuni adferu ei olwg i'r dall. Pa le y mae'r gwendid? Ai yn yr haul? O nage, y dyn sydd yn ddall. Mae'r daran sydd yn adseinio trwy yr awyr yn rhy wan i beri i'r byddar glywed. Ai yn y daran y mae'r gwendid? O nage: y dyn sydd yn fyddar. Nid yn y ddeddf,

ond yn y cnawd; y mae'r gwendid. "Ni a wyddom," medd yr apostol, "fod y ddeddf yn ysbrydol, eithr myfi sydd gnawdol." Yma y gwelir y ffolineb o geisio, a'r anmhosiblrwydd o gael, cyfiawnhâd a derbyniad gan Dduw trwy y ddeddf. Rhywbeth tragywyddol ofer yw chwilio am iachawdwriaeth yn y llys hwn. Edrychwch yna ar y dyn ieuanc o flaen y faino: dyna y rheithwyr yn ei ddwyn i fewn yn euog, a dyna ei fam yn y llys yn rhuthro ymlaen tua'r frawdle ac yn llefain, Maddeuer, O maddeuer iddo! Ust! meddai'r barnwr, nid oes maddeuant yma; llys cyfiawnder yw hwn. Felly y dywedai'r Barnydd Hawkins pan yn cyhoeddi dedfryd ar droseddwr amser yn ol, "Mercy belongs not to me; I have no power to grant mercy." Dywedaf eto, nid yw iachawdwriaeth i'w chael yn llys y ddeddf: "Gan farw ti a fyddi farw," yn unig a glywir yn taranu yma. Ein sefyllfa golledig sydd yn dyfod yma i'r golwg fel yr ydym yn hollol ddiobaith o honom ni ein hunain. Bydd y ddeddf, er ei bod yn rhy wan i achub, yn gwbl rymus ac yn dragywyddol ogoneddus yn nghosbedigaeth y troseddwr.

II. Trefn gras: "Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus, ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd?"

Yn ngwyneb anallu'r ddeddf i achub, y mae gras a thrugaredd Duw mewn efengyl yn dyfod i'r golwg. Gwelir hyn,

1. *Yn y Person a ddanfonwyd.* "Ei Fab ei hun" a ddanfonodd Duw. Mae'r drefn hon o Dduw. Yn nyfnder ymysgaroedd ei gariad y gwreiddiodd y drefn ryfedd. "Duw a ddanfonodd ei Fab." Os yw y pechadur i gael iachawdwriaeth, yr oedd yn angenrheidiol i rywun gael ei ddanfon yn Iachawdwr. Ymha le y cawn ni yr un hwn? A awn ni i edrych am dano ymhlith dynion? Mae pawb o ddynolryw ar lawr yn yr un amgylchiad: "yr holl fyd dan farn Duw." Pa beth all y naill garcharor ei wneyd i garcharor arall, pan y mae y ddau wedi eu condemnio? "Gan waredu ni wared neb ei frawd, ac ni all efe roddi iawn drosto i Dduw." A gawn ni un cymhwys ymhlith angylion? onid ydynt hwy "yn gedyrn o nerth, yn gwneuthur ei air Ef, gan wrando ar lefarydd ei air Ef?" ai nid ydynt yn feddiannol ar gymeriad gogoneddus, ac yn gymeradwy gan Dduw? Ydynt; ond yn ddiammheu er eu holl nerth y byddent yn suddo dan bwys cyfrifiad o bechodau dynion. Creadur yn unig yw yr angel. Nid oes genym, ynte, ond esgyn at Dduw ei hun. Wele, y mae gan Dduw Un gydag ef a all weithio allan ein hiachawdwriaeth ni. Ac a gaiff hwn ei ddanfon? O ryfedd ras! "Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun," "ei uniganedig Fab." Yr oedd yn Fab cyn ei ddanfon. Nid symudiad personol a lleol a feddylir wrth y danfoniad hwn, er iddo ef ddyfod o'r nef i'r ddaear.

Mae'r danfoniad yn cynnwys,

(1.) Iddo gael ei ethol gan y Tad cyn bod y byd, i fod yn Awdwr iachawdwriaeth yn natur y pechadur, trwy ufuddhâu i'r gyfraith a dyoddef ei chosb, a thrwy hyny i fod yn iawn dros y pechadur.

(2.) Iddo gael ei wisgo â phob cymhwysder ac â phob perffeithrwydd angenrheidiol at waith y prynedigaeth.

(3.) I'r Tad roddi iddo allu swyddol i wneyd ei ewyllys ymhob peth. Cafodd hyn ei amlygu yn gyhoeddus: "Hwn yw fy anwyl Fab; gwrandewch arno ef. Rhoddwyd i mi," meddai'r Mab, "bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear."

(4.) I DduwDad ymddiried iddo yn y gwaith hwn ei holl ogoniant, holl amrhydedd ei lywodraeth, a holl arfaethau ei ras ef, er mwyn agor ffordd ar hyd pa un y gallai bwriadau ei drugaredd redeg tuag at bechadur colledig. Ac efe a fu ffyddlawn i'w holl ymddiried ei hun. "Mi a'th ogoneddais di ar y ddaear; mi a gwblheais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." A darfu i Dduw amlygu ei foddlonrwydd iddo yn y gwaith a wnaeth, trwy ei adgyfodi oddiwrth y meirw, a'i ddyrchafu i eistedd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd. Do! "Duw a ddanfonodd ei Fab ei hun."

2. *Dull ei ddanfoniad:* "Yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus."

Nid yn *nghyffelybiaeth cnawd* a ddywedir. Buasai hyny yn wadiad o'i ymgnawdoliad, ac yn groes i dystiolaeth yr Ysgrythyr: "y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Wrth gnawd yma y deallir y natur ddynol, corff ac enaid. "Gan fod y plant yn gyfranogion o gig

a gwaed, yntau hefyd a fu gyfranog o'r un pethau." Ac nid *cnawd pechadurus* a ddywedir. Buasai hyn yn peri fod Iawn yn anmhosibl. Buasai yr Iesu ei hun dan gondemniad personol os gwir hyny. Ond medd y testun, "Yn *nghyffelybiaeth* cnawd pechadurus." Efe a gymerodd y natur ddynol fel ag y mae dan effeithiau a gwendidau pechod, ac "eto heb bechod." Efe a gymerodd ein naturiaeth, nid fel y daeth allan o law ei Chreawdwr, ond fel mae yn dyoddef o herwydd pechod; "a nature damaged by sin, yet free from sin." Rhyfedd yw! Duw a ddanfonodd ei Fab yn nghyffelybiaeth cnawd pechadurus!

3. Y *gwaith a gyflawnwyd ganddo.*

(1.) Efe "am bechod, a gondemniodd bechod yn y cnawd." Nid condemnio y ddeddf oedd yn wan trwy y cnawd a wnaeth Crist, ond condemnio pechod. Byddai yn llefaru yn erbyn pechod yn llym iawn, a hyny bob amser. Ac efe a wnaeth fwy na hyny. Bu efe fyw yn erbyn pechod. Do! yr oedd ei holl fywyd yn wrthdystiad sanctaidd yn erbyn pechod. Ond fe wnaeth lawer mwy na hyn hefyd. "Am bechod, efe a gondemniodd bechod yn y cnawd." Efe a'i hoffrymodd ei hun yn aberth dros bechod, a thrwy ei aberth a ddedfrydodd bechod i farwolaeth, fel na fyddai i bechod gondemnio na llywodraethu ar y rhai a gredant ynddo ef. Onid yw y drefn yn rhyfeddol? Fel y dinystriwyd angeu drwy angeu, felly condemniwyd pechod drwy bechod. Y pechod mwyaf y bu dynion yn euog o hono oedd croeshoelio Iesu Grist, eto trwy ei groeshoeliad ef y condemniwyd pechod.

(2.) "Fel y cyflawnid cyfiawnder y ddeddf ynom ni:" gofyniadau a hawliau cyfiawnder. Yn achubiaeth pechadur gan Fab Duw y mae hawliau y ddeddf yn cael eu dal allan "ynom ni."

[1]. Yn ein natur ni. Duw a ddanfonodd ei Fab i fod yn Gynnrychiolwr neu Fachnïydd drosom; ac efe yn ein natur ni, yn ein deddfle ni, a gyflawnodd yn berffaith holl ofynion y ddeddf. Cyfiawnder y ddeddf a lwyr anrhydeddwyd ganddo. Efe a ufuddhaodd i bob gorchymyn, ac efe a ddyoddefodd bob melldith, ac a ddaeth felly yn "ddiwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un sydd yn credu."

[2.] Ynom trwy breswyliad grasol yr Ysbryd Glân o'n mewn. Efe yw yr hwn sydd yn gweithio ynom ni y gras o ffydd a gweithrediad ffydd. "Wrth hyny yr ydym yn cadarnhâu," hyny yw, yn cyflawni "y ddeddf." Mae'r credadyn yn llys y gyfraith yn dadleu gwaith perffaith yr Arglwydd Iesu; a'i waith perffaith ef sydd yn cael ei gyfrif iddo. Trwy ffydd y mae yn cymeryd gafael mewn iawn sydd yn perffaith gyflawni holl ofynion y ddeddf. Ac fel hyn wele gyfiawnder y ddeddf yn cael ei gyflawni ynddo ef. Yn y drefn hon y gwelir dysgleirder mwyaf efengyl gogoniant y bendigedig Dduw.

III. Cymeriad sanctaidd y bobl rasol: "Y rhai ydym yn rhodio, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd."

Hyn yw cymeriad y personau sydd wedi sylweddoli eu hiachawdwriaeth trwy ffydd yn Nghrist Iesu. Ffrwyth gras a thrugaredd Duw tuag at ddyn colledig yw anian a buchedd sanctaidd; trefn iachawdwriaeth yn ei hamlygu ei hun mewn sancteiddrwydd bywyd.

Cymeriad yw hwn yr ydym i olrhain ei ddechreuad i waith yr Ysbryd Glân ynom ni. Efe yn trigo ynom ni sydd yn bob ysgogiad tuag at sancteiddrwydd yn ein hymarweddiad cyhoeddus. "Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef."

Natur y cymeriad hwn yw "rhodio yn ol yr Ysbryd." Hanes bywyd y cristion yw yr ymadrodd hwn. Rhywbeth cyson yw rhodio, ac nid neidiadau neu rediadau damweiniol ac achlysurol. Mae'r duwiol bob amser yn myned ymlaen, nid yn ol y cnawd, eithr yn ol yr Ysbryd. Mae yr Ysbryd yn arweinydd iddo, ac yntau yn ei ddilyn gyda hyfrydwch calon.

Y cymeriad hwn sydd yn gweithio addfedrwydd i'r nefoedd. Trwy hyn yr ydym yn cael ein gwneyd yn gymhwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni. Cychwynodd y drefn ogoneddus o iachawdwriaeth yn y nefoedd; a gwaith y drefn ar y ddaear yn awr yw dwyn ei holl wrthddrychau i'r nefoedd.

Dyma un o olygfeydd ardderchocaf y byd hwn: cymeriad sanctaidd. Dyma ddyn cyfoethog; mae cyfoeth o werth ac o ddefnydd; ond y mae'r gŵr goludog yn myned o'r golwg mewn cymhar-

iaeth i'r dyn sanctaidd. Nid yw cyfoeth yn werthfawr ond am amser—am ychydig amser; ond am sancteiddrwydd, bydd yn myned ymlaen mewn gwerth am dragywyddoldeb. Dyma y cymeriad a ddysgleiria o flaen gorseddfainc Duw, a Duw ei hun yn ymhyfrydu ynddo.

Diolchwn am y drefn sydd yn gwneyd dynion halogedig yn ddynion sanctaidd. "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod."

Na thristawn Lân Ysbryd Duw, ond gwrandawn ar ei gymhelliadau, a dilynwn ei gyfarwyddiadau. Ac "os byw yr ydym yn yr Ysbryd, rhodiwn hefyd yn yr Ysbryd."

---

## EBENEZER: NEU DDIWEDD UN FLWYDDYN A DECHRE Y LLALL.

*Gan y Parch.* THOMAS REES, *Merthyr Tydfil.*

1 SAMUEL vii. 12: "A chymerodd Samuel faen, ac a'i gosododd rhwng Mispah a Sen, ac a alwodd ei enw Ebenezer, ac a ddywedodd, Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

DYMA flwyddyn arall wedi ein gadael! Yr ydym wedi myned trwy y diwrnod olaf ynddi, wedi ffarwelio â hi, ac yn ei rhifo bellach gyda'r ymadawedigion. Y mae ei holl lawenydd a'i thristwch wedi myned heibio, nid i ddychwelyd byth mwy. Diau fod hwn yn dymmor a ddylai gael sylw neillduol genym, er mwyn mantais ein crefydd bersonol, a'i droi fel ag i ddwyn ymlaen ein daioni uchaf—lles ein heneidiau. Gellid a dylid gwneyd defnydd o amserau penodol, a defodau a dyledswyddau neillduol, i feithrin duwiolfrydedd calonog, fel y gallom ei dodi mewn gweithrediad beunyddiol, parhâus, yn holl amgylchiadau a helyntion bywyd cyffredin. Felly y mae'r tymmor presennol yn un ag sydd yn cymhell amrywiol ystyriaethau buddiol arnom, bawb fel ei gilydd, y rhai da y gwnawn ddal arnynt a'u gosod at ein calon. Mae dechre y flwyddyn, yr un modd a'i diwedd, yn gwthio arnom y meddwl am fuander rhediad amser. Mor gynted y mae blwyddyn yn myned heibio, a'n hoes yn dirwyn i ben! Er ein bod yn treulio llawer o'r flwyddyn yn ddigon difeddwl am hyn, ni all rywfodd lai na dyfod adref atom yn rymus a difrifol, os nad yn boenus gyda hyny, tua ei diwedd a dechre y nesaf. Nid yw ond fel doe genym ei chofio yn dyfod i mewn, a chlywed y llongyfarchiad arferol ymhlith y plant a'r dynion ieuainc, a ninnau oedd henach yn uno yn galonog â hwy gyda phleser i wneyd hyn ein hunain—"Blwyddyn newydd dda i chwi!" &c., nes oedd ein hanneddau a'n heolydd yn adsain ganddo. Teimlem am dipyn fel yn nghwmpeini un dyeithr—yn ôd wrth sylwi ar ei rhif gwahanol ar y newyddiaduron, y cyhoeddiadau misol, a'r llythyrau, ac yn methu dyfod at hyn braidd ar unwaith. Dodir yr hen ddyddiad yn ddiarwybod ar ben y nodyn y dyddiau cyntaf. Yr oedd yr holl flwyddyn o'n blaenau, a ninnau yn meddwl fod genym ddigon o amser ynddi; ond yn raddol collasom y teimladau o ddyeithrwch, a llithrodd ymlaen o alban i alban, a ninnau gyda hi, nes yr ydym wedi ei cholli—y tywodyn olaf wedi rhedeg allan, a ninnau wedi sangu dros y trothwy i ddechre blwyddyn arall. Mawr mor fuan yr aeth heibio! a dyma ni yn anmharod i sylweddoli hyny yn ein meddyliau. "Treuliasom ein blynyddoedd fel chwedl;" y maent yn myned heibio heb yn wybod i ni—fel y cymylau yn ehedeg, y cysgod yn cilio, a'r ffrwd yn llifo.

Ond yn lle ymhelaethu ar hyn, neu fanylu ar y cwbl sydd yn hòni hawl yn deg i'n sylw, ac yn haeddu yn dda i gael lle gyda ni, fe allai nad oes dim yn fwy priodol a phwrpasol na'r hyn sydd yn y testun. Y mae yr hyn a wnaeth Samuel ar yr achlysur y cyfeirir ato a gofnodir yma, yn deilwng o gael ei efelychu genym bob dydd, ac yn arbenig y tymmor hwn o'r flwyddyn. Y mae yn gynllun i ni i'w ddilyn. Y mae yn wir fod ein hamgylchiad ni y pryd hwn yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth un Samuel a'r genedl ar yr adeg y cyfeirir ato. Wedi cael buddugoliaeth fawr nodedig yr oeddynt hwy ar eu hen elynion y Philistiaid. Yr oedd yn gyfyng ar Israel, a throisant at eu Duw i'w geisio. Dodasant ar Samuel i weddïo ar yr Arglwydd; a llwyddodd gydag ef; gwrandawodd ef, a chyfryngodd yn rhyfedd ar eu rhan, a gwaredodd hwynt. Taranodd o'r nefoedd â tharanau mawr yn erbyn eu gwrthwynebwyr y diwrnod hwnw, ac a'u drylliodd nes eu gyru ar ffo yn llwyr. Ac yn goffadwriaeth am hyn y cymerodd Samuel faen, careg fawr, ac a'i gosododd i fyny yn gofgolofn o ddaioni yr Arglwydd iddynt ar yr achlysur nodedig. Nid oes dim anghyffredinol, goruwchnaturiol fel hyn, yn ein hamgylchiad ni heddyw; er hyny mae y syniad a'r teimlad duwiolfrydig a arddangosir yma yn gweddu yn dda i ni. Gallwn, a dylem wneyd a dyweyd yr un peth, o ran sylwedd, yn enwedig yn ein calon. Ac O na wnaem hyny o galon, ac â'n holl galon! canys da ydyw cydnabod llaw ddaionus yr Arglwydd tuag atom,

Dyma ni yn fyw ac yn iach, wedi cael dechre blwyddyn newydd arall. Yr ydym yn nghymdeithas y rhai byw oll, i'r rhai y mae gobaith. Y mae lladdedigion y flwyddyn ddiweddaf yn lliosog. Agorodd a llanwodd lawer o feddau. Y mae wedi gwneyd gweddwon a lliosogi amddifaid. O gynifer a dorodd angeu i lawr! Daethom ninnau trwy leoedd geirwon, peryglon mawrion, oedd yn bygwth gwneyd pen arnom. Yr oedd haint yn rhodio yn y tywyllwch mewn rhanau o'n gwlad, ac ymaflodd yn llawer o'n cydgenedl; a dinystrydd yn dinystrio ganol dydd. Cwympodd rhai wrth ein hystlys, ac ar ein deheulaw, ond ni ddaeth yn agos atom ni. Pe gelwid enwau llawer a gychwynodd y flwyddyn gyda ni, ag oeddynt yn llawn mor debyg, os nad yn fwy tebyg, na ni i ddyfod trwyddi yn ddiogel, rhoddai y dystawrwydd ar ddeall fod rhyw ddrwg wedi dygwydd iddynt: rhai o honynt wedi syrthio yn bur fuan; eraill wedi llusgo ymlaen nes gweled dechre y mis olaf, a'r wythnos olaf, os nad y dydd olaf, ynddi, ond yn trengu cyn dyfod ymhellach. Pa fodd yr ydym ni yn arbedol? "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni." Oni ddylem, gan hyny, gyduno yn yr un ysbryd â Samuel i godi ein Ebenezer, gan gydnabod daioni yr Arglwydd yn hyn? Y mae hyn yn llawn mor wir gyda golwg arnom ninnau oll. Y mae yn ffaith ddiammheuol gyda golwg arnom, mai trwy "gael help gan Dduw yr ydym yn aros hyd y dydd hwn." Y mae yn wir am bawb mewn gwahanol ystyriaethau, ymhob ystyr, yn naturiol a thymmorol, gyda golwg ar y bywyd hwn. Gall pawb ddywedyd hyn heb betruso dim, yr annuwiol fel y duwiol. Eithr dyma un gwahaniaeth mawr rhwng y naill gymeriad a'r llall—fod y duwiol yn gweled ac yn cydnabod hyn, tra nad yw yr annuwiol yn meddwl am ddim o'r fath beth. Dichon y cydsynia yr annuwiol â hyn mewn geiriau pan gyflwynir ef iddo; ond ni wna hyn byth o hono ei hun, ac ni theimla oddieithr rhyw iâs dranoedig arwynebol, pan wthir y peth arno oddiallan. Ond y mae egwyddor yn nghalon y dyn duwiol yn peri iddo wneyd hyn, er y gall ofyn, yn enwedig yn achlysurol, i'w feddwl puraidd gael ei gyffroi ato, a'i annog i'w wneuthur fel dyledswydd rwymedig.

Gadewch i ni fwrw golwg ar hyn *fel y mae yn wir ynglŷn â phawb yn gyffredinol fel eu gilydd.* "Hyd yma y cynnorthwyodd yr Arglwydd nyni."

Nis gallwn, heb ei gymhorth Ef, anadlu, cerdded cam, gwneyd yr un pwyth, symud troed na llaw, dyweyd gair, gweled na chlywed, arogli, archwaethu na theimlo, er meddu y synwyrau ac aelodau i hyny. Y mae yn ein cynnorthwyo i gymeryd ein lluniaeth angenrheidiol beunydd yn gystal ag i lafurio i'w gael. Nis gallwn gymaint a syrthio i gwsg heb ei gymhorth, pa faint bynag fyddo y blinder a'r lludded, mwy nag ymysgwyd allan o hono heb iddo ef ddadgloi ein synwyrau. Rhaid iddo ein cynnorthwyo y dydd fel y nos, yn y goleuni fel yn y tywyllwch. Mor hollol a gwastadol yw ein hymddibyniad ar Dduw! Mae gweithrediad parhâus, dibaid, y gallu Dwyfol a'n gwnaeth, yn anhebgorol angenrheidiol i'n cynnal mewn bod. Nid ydym wedi ein *windio* i fyny ar gychwyniad ein gyrfa fel y gwneir â'r oriawr neu yr awrlais, neu ryw beiriant cyffelyb. Ni thâl dyweyd mai deddfau natur sydd yn gwneyd hyn, gan gymeryd golwg ddiffygiol os nad hollol gyfeiliornus ar hyny, ac edrych arno fel yn myned ymlaen wrth gwrs o anghenrheidrwydd. Y mae yn wir fod y fath bethau yn bod â deddfau natur, a bod yr oll yn myned ymlaen yn y byd anianyddol yn eu hol; ond camsyniad dychrynllyd yw tybio fod hyn yn hanfodi yn annibynol ar barhâd gweithrediad ewyllys a gallu Duw. Pa beth yw deddfau natur ond gweithrediad parhâus Duw yn nhiriogaeth natur? Oni byddai ei fod yn ein cynnal, ni a drengem ac a ddychwelem i'r llwch, a phobpeth byw fel ninnau. Mae ei law anweledig, hollalluog, ef odditanom o hyd yn ein cynnal, yn gystal a'i law hollgyfoethog hael yn agored yn wastadol i'n diwallu. Rhaid iddo ef ein cynnorthwyo yn ddibaid, i osod ein henaid mewn bywyd. Gynifer o weithiau y mae y gwaed yn curo yn y galon mewn un awr! Ni churai unwaith o'r pedair mil o weithiau heb iddo ef gynnorthwyo yn uniongyrchol. Rhaid iddo ei chynnorthwyo i guro bob tro, onidê safai yn y fan, a dyna angeu yn cymeryd lle ar unwaith. Dyma paham y mae y cwbl yn myned ymlaen yn ddidòr trwy y dydd a'r nos, pan yn nghwsg ac yn effro, heb ddyrysu, diffygio, na blino. Y mae gwaith Duw i'w weled yn rhyfedd iawn yn ngwneuthuriad a threfniad y galon, yn gystal â'r holl gyfansoddiad anianyddol. Rhyfedd iawn ein bod yn byw cyhyd, gan fod pethau mor fychain a distadl yn anghenrheidiol hollol i gynnal bywyd, yn abl gosod terfyn arno, nad oes genym ni y llywodraeth leiaf arnynt!

"Strange that a harp of thousand strings,
Should keep in tune so long."

Y mae ein hoedl naturiol yn llaw Duw yn hollol bob mynyd, yr hwn yn unig a roddodd gynhyrfiad i'r gwaed i ysgogi yn y galon ar y cyntaf, ac sydd yn cadw o hyd yr holl lestri anghenrheidiol i fywyd yn

drefnus ac yn ddyfal yn eu holl ysgogiadau a'u gwasanaeth.

Hefyd, mae yr un peth yn wir gyda golwg ar y meddwl. Duw yn ein cynnorthwyo sydd yn cadw y rhan ddealltwriaethol i fyned ymlaen heb ddyrysu. Y mae cysylltiad yr ymenydd â'r meddwl yn gywrain iawn, ac yn llawn dirgelwch. Mae y cyfnewidiad lleiaf yn yr ymenydd yn dyrysu y synwyr. Y mae yn anghenrheidiol cydnabod dylanwad Dwyfol yn parhâu ymarferiad arferol rheswm a meddwl yn ei bwyll. Heb iddo ef ein cynnorthwyo trwy roddi i ni y dylanwad ffafriol hyn, ni pharhâi rheswm. Gwythïen fechan yn tori, neu ychydig ronynau o fater allan o'i le yn yr ymenydd, sydd ddigon i beri i'r ddoethineb fwyaf ar y ddaear glafychu i benwendid a gorphwylledd. O'i ddaioni y mae Duw yn gwneyd hyn oll; ac onid yw ei ddaioni yn gwneyd hyn yn fawr, yn anfeidrol? Dylem ryfeddu mwy ato.

Y mae yn cynnorthwyo yr annuwiol pan nad yw yn gwneyd dim ond pechu yn ei erbyn. Ac eto, nid yw yn ei gynnorthwyo i bechu, fel ag i fod yn gyfrifol yn y gradd lleiaf am hyny. Nid oes bai ar Dduw am ei gynnorthwyo i fyw, fel y mae yn cael cyfle i bechu; arno ef ei hun y mae yr holl fai. Y mae yn ddaioni yn Nuw ei arbed a'i gynnal, i roddi amser iddo i edifarhâu, ac i'w ddaioni ei dywys i edifeirwch. Y mae hyn oll, rhaid addef, yn "wybodaeth ry ryfedd i ni; uchel yw, ni fedrwn oddiwrthi." Y mae yn ei gynnorthwyo i fyw heb fod yn gyfranog o'i bechod. Y mae hyn yn mwyhâu drwg y pechadur anedifeiriol, ei fod yn cymeryd mantais ar Dduw yn ei ddaioni yn ei gynnorthwyo i fyw, i wneyd dim ond ei ddigio; yn troi yr help a dderbynia ganddo bob eiliad i wrthryfela yn ei erbyn. Y mae'r Goruchaf nid yn unig yn ei arbed am ei fod yn hwyrfrydig i lid, eithr y mae gyda hyny yn ei gynnorthwyo yn ddidòr i fyw. Wrth gofio ei fod yn gyfiawn a sanctaidd a hollalluog, ac yn gwybod y cwbl, y mae yn rhyfedd y gall ei wneyd. Mor hawdd y gallai ddial, a chosbi, a dyfetha, gan gau ei drugareddau mewn soriant; a thyngu yn ei lid na chyfranai yr un arall i'w chamddefnyddio! Pwy ond Duw a wnai fel hyn? Onid yw hyn yn rhoddi golwg ddymunol a deniadol arno? Onid yw daioni anfeidrol ei gymeriad yn llewyrchu allan yn ddysglaer yn hyn? "Profwch a gwelwch mor dda yw yr Arglwydd," a hyny at rai anniolchgar a drwg, yn peri i ddaioni a thrugaredd ein canlyn holl ddyddiau ein bywyd. "Bywyd a thrugaredd a ddarperaist i mi, a'th ymgeledd a gadwodd fy ysbryd," i'n cynnorthwyo i barhâu mewn bywyd. Dylai cynnorthwyo dynion fel hyn gael ei deimlo yn gymhelliad grymus i edifeirwch. Dyma ei duedd uniongyrchol, yn gystal a'i amcan pendant. Mae yn wir ei fod ar un olwg trwy hyn yn rhoddi cyfle iddo i drysori digofaint erbyn dydd digofaint. O feddwl ofnadwy! gwneyd y fath gamddefnydd o ddaioni Duw yn ei gynnal. Ond nid yw efe yn atebol am y fath ymddygiad angharedig a gwaradwyddus. Amcan hollol wrthwyneb oedd ganddo ef wrth gynnorthwyo. Iaith y cwbl o'i du ef yw, "Nid ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o hono a byw." Er hyny cofia, bechadur, ni chynnorthwya di fel hyn byth, nac yn hir iawn ychwaith. Y mae terfyn i'w ddaioni mewn arbed a chynnorthwy. Y mae "gâd ef y flwyddyn hon hefyd," wedi llwyddo am flwyddyn arall, am lawer blwyddyn bellach, ar dy ran. Eithr cymer addysg cyn iddo dynu ei law yn ol odditanat, a gwrthod dy gynnorthwyo yn hŵy, ïe, ddywedyd, "Tòr ef i lawr; paham y mae efe yn diffrwytho y tir?" Y mae yn parhâu i gynnorthwyo mor rasol i weled a ystyri dy ffyrdd, rhoddi dy waith i droi ato; a dylai ei ddaioni gael yr effaith hon arnat. Rhoddir ar ddeall y dylai ei ddaioni tymmorol yn ei ragluniaeth wneyd hyn i ddynion. Y mae fel hyn yn pentyru marwor tanllyd ar ei ben i'w doddi. Y mae yn cynnorthwyo yn yr ystyr hon heb wneuthur dim rhagor rhwng ei gyfaill a'i elyn, yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn, ac yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da. Prin y mae yn attal dim daioni rhagddynt, fel pe rhodient yn berffaith. Y fath wrthgyferbyniad rhyfeddol sydd rhwng ymddygiad Duw tuag at yr annuwiol, a'i ymddygiad ef tuag at Dduw! Y mae Duw yn meddwl am dano ef bob moment, tra nad yw Duw yn ei holl feddyliau ef; nid yw Duw yn gwneyd dim ond daioni iddo ef, tra nad yw ef yn gwneyd dim ond drygioni tuag at Dduw yn ol. Ai dyma dy garedigrwydd di i'th gyfaill? "Ai hyn a delwch i'r Arglwydd?"

Mewn ychwanegiad at hyn, heblaw cynnorthwyo ei bobl fel pawb yn gyffredinol yn naturiol, *mae yr Arglwydd yn cynnorthwy ei eiddo mewn ystyr uwch, neillduol, a grasol.* Nis gellir dal ymlaen i fyw yn dduwiol heb i Dduw gynnorthwyo o hyd, heb dderbyn ei ras ef yn gymhorth cyfamserol. Gorchest yw byw yn dduwiol yn Nghrist Iesu! Dyfalbarhâu i gyflawni y dyledswyddau gweithgar, a dyoddef y cystuddiau a'r treialon sydd yn rhaid myned trwyddynt,—ymdrech a rhyfel ydyw o hyd, ïe, brwydr boeth ohiriedig hefyd. Gellir dywedyd wrth bob un sydd yn taro allan o ddifrif ar y ffordd i'r nefoedd, fel y dywedwyd wrth hwnw gynt, ar ol ei eneinio yn frenin, "Rhyfeloedd fydd

o hyn allan i ti." Mae y byd, y cnawd, a'r diafol genym i ymladd â hwy, a'u gorchfygu. "Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion leoedd." Rhaid "sefyll yn y dydd drwg,"—"ac wedi gorphen pob peth, sefyll." Rhaid ymdrech yn erbyn pechod, ac ymdrechu myned i mewn trwy y porth cyfyng. Y mae hyn oll yn gofyn cymhorth Dwyfol i'w wneyd yn llwyddiannus. "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Neb ond y sawl y mae eu cymhorth o Dduw. "Digon i ti fy ngras i; fy nerth i a berffeithir mewn gwendid." Y mae gras yn y galon fel gwreichionen yn nghanol y môr. Nid peth bach yw ei chadw heb ddiffodd. Duw yn unig a'i ceidw yn fyw. Nid yw gyda ni yn y rhyfel ysbrydol fel y bu yn Tel-el-Kebir yn ddiweddar. Un ymosodiad penderfynol, egnïol, a thrwy dipyn o ystryw,—a dyna y cwbl drosodd mewn llai nag ugain mynyd. Cafwyd buddugoliaeth a benderfynodd y rhyfel. Yr oedd mewn llythyrenau mawrion ar y newyddiaduron am eu cynnwysiad, "The end of the war in Egypt." Nid ellir cael diwedd arno mor fyred â hyn. Yr ydym ni i fod yn nghanol ymdrech rhyfel bob dydd. "O'r braidd y mae y cyfiawn yn gadwedig," yn ei gwneyd yn rhyfedd

"Os gwelir fi, bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd yr iaith;
Yn seinio 'Buddugoliaeth,'
Am iachawdwriaeth lawn,
Heb ofni colli 'r frwydr,
Na boreu na phrydnawn."

Clywais am deithiwr yn croesi'r borth mewn cwch pan oedd y llanw yn myned allan yn lled chwyrn; a sylwai fod y ddau rwyfwr yn ymroi yn galed iawn, eu goreu, ond heb allu myned nemawr ymlaen, a gofynodd iddynt pa fodd yr oedd felly; ac atebwyd ef gan un o honynt, "Pe gwyddech y cwbl, y mae dal ein tir yn gymaint ag ydym yn ddysgwyl ei wneyd am ychydig amser yn awr; try y llanw yn union, ac yna awn drosodd yn hawdd ar unwaith." Felly cryn dasg yw dal ein tir yn fynych, ac nis gallwn heb i Dduw ein cynnorthwyo; ond os cawn ein cynnorthwyo ganddo Ef i hyny, daw tro ffafriol i hwyluso ein mynediad ymlaen ac ennill tir.

*Dylai hyn oll gael ei ystyried yn dda genym.* Y mae yn anghenrheidiol cadw golwg ar ffyrdd Duw tuag atom mewn rhagluniaeth a gras. Nid yw gras 'yn groes i hyn, ond yn ei gefnogi. Da yw olrhain ei waith Ef yn ein cynnorthwyo i fyw ac i'w wasanaethu.

*Rhoddwn yr enw iddo am ein cynnorthwyo.* Priodolwn ei bod gyda ni fel y mae, iddo ef yn ein cynnorthwyo o hyd. Gwneled ei ras ni yn fwy parod i wneyd hyn wrth ei fodd. Rhyfeddwn fwy ei fod yn ein cynnorthwyo ni sydd mor wael, annheilwng, mor lawn o ddrwghaeddiant, sydd mor anffyddlawn ac anffrwythlawn; eto y mae Ef yn gweled yn dda ein cynnorthwyo beunydd. Y mae eisieu i hyn ddeffro ein syndod. "Arglwydd, pa beth yw dyn pan fawrheit ef" fel hyn? Pwy ydwyf fi?

*Diolch iddo.* "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef. Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef, yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau, yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd, yr hwn sydd yn gwaredu dy fywyd o ddystryw, yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thosturi." "Beth a dalaf i'r Arglwydd am ei holl ddoniau i mi?"

*Tynwn gymhelliad i ymddiried ynddo.* Y mae ei fod wedi ein cynnorthwyo hyd yma yn gefnogaeth gref i ymddiried ynddo rhagllaw. Mor fawr yw ei ddaioni wedi bod tuag atom! Nid yw ei allu yn ddim llai i gynnorthwyo, na'i barodrwydd i wneyd hyny. Y mae ei brofi, fel yr ydym wedi gwneyd, yn galondid i ymddiried ynddo, gan na phallodd ei dosturiaethau tuag atom.

*Edrychwn ar hyn oll yn gymhelliad i'w wasanaethu.* Y mae yr Hwn sydd yn ein cynnorthwyo a'n cynnal yn deilwng o'n gwasanaeth goreu. Yr ydym yn ei ddyled i fyw iddo. Nid allem fyw heb iddo ein cynnorthwyo; a charedigrwydd anfeidrol ynddo yw gwneyd hyn i ni. "Gwelwch faint a wnaeth efe eroch." Dododd Samuel y golofn yn y golwg i geryddu eu hanniolchgarwch a'u hanghof o Dduw, ac i'w hadgofio o'u dyled iddo. Dyma un defnydd buddiol a allwn wneuthur eto o'r flwyddyn sydd wedi ein gadael,—troi daioni yr Arglwydd yn ein cynnorthwyo trwyddi yn gymhelliad i'w wasanaethu yn well yn hon, a gweddill ein bywyd. Rhodded yr Arglwydd ei ras i ni oll i wneyd hyn.

---

## EIN LLYSOEDD EGLWYSIG.

### I.—Y GYMDEITHASFA.

*Gan y Parch.* J. EIDDON JONES, *Llanrug.*

GWNAETHOM rai sylwadau ar y Cyfarfod Misol yn y DRYSORFA amser yn ol; ac yr oeddym yn bwriadu myned ymlaen y pryd

hwnw i wneyd nodiadau ar y Gymdeithasfa; ond daeth rhyw bethau ar y ffordd. Erbyn hyn, pa fodd bynag, y mae y Gymdeithasfa ei hun yn dechreu ystyried pa fodd y gellir ad-drefnu ei chyfarfodydd fel ag i gynnilo yr amser a chael hamdden at y "pethau trymaf o'r gyfraith." Dygwyd y mater hwn i sylw yn Nhyfeisteddfod Cymdeithasfa Pwllheli, a gadawyd ef i ystyriaeth bellach. Cyfeirid at y ffaith fod digon o amser yn nghyfeisteddfodau y dydd cyntaf, a rhy fach o waith, tra yn nghyfarfodydd cyffredinol y Gymdeithasfa, yn dechre am ddau o'r gloch yr ail ddydd, y bydd rhy fach o amser a gormod o waith. Rhoddid yn brin awgrymiad ai ni ellid rhoddi mwy o awdurdod i'r cyfarfodydd y dydd cyntaf fel ag i ysgafnhâu baich cyfarfodydd yr ail a'r trydydd dydd. Y mae yn debyg nad oes eisieu gwneyd llawer o'r awgrymiad hwn; oblegid byddai symud i'r cyfeiriad yma yn ymadawiad oddiwrth un o egwyddorion nodweddiadol a hanfodol ein cyfundeb, sef fod y gallu yn llaw y cyfarfod cyffredinol o swyddogion y cyfundeb a gyferfydd yr ail ddydd—nid yn llaw cynnrychiolwyr, ond ystyrir fod *holl* swyddogion y Corff yn ymgynnulledig mor bell ag y byddo amgylchiadau yn caniatâu. Dyma Fethodistiaeth Gymreig fel y mae yn wahanol i bob *aeth* arall; ac y mae rhywbeth yn ardderchog ynddi. Ac o'n rhan ni, ni a hoffem gadw yr egwyddor hon yn orfanwl, os oes modd; ni fynem gymeryd yr un cam ag a barai i'n disgynyddion yn yr oesoedd dyfodol gael lle i gasglu fod ynddo ymadawiad oddiwrthi, ac amcan cymeryd cam pellach pe caniatâi amgylchiadau. Yn hyn yr ydym yn gogwyddo yn fwy at y Cynnulleidfäwyr nag y mae yr Henaduriaethwyr; ac y mae yr elfen Gynnulleidfäol sydd yn ein gwaed yn peri i ni deimlo gofal na byddom yn ei cholli.

Amcan Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa ydyw edrych dros y materion sydd i ddyfod dan sylw, a'u trefnu a'u rhoddi mewn ffurf gyfaddas i ddyfod ger bron y Gymdeithasfa. Parotöawl yn unig, gan hyny, yw yr ymdriniaeth hon; ac ni olygir wrth hyn fod ymdriniaeth lwyr a chyflawn arnynt gan y Gymdeithasfa ei hun yn cael ei gau allan; yn hytrach rhwyddhâu y ffordd tuag at hyny yw yr amcan. Ceir, pa fodd bynag, fod tuedd i gyfyngu yr ymdriniaeth i'r Cyfeisteddfod, ac o'r braidd i anghefnogi agoryd y cwestiynau yn eu cyfanswm ger bron y Gymdeithasfa, ac i dybied nad oes gwaith gan y Gymdeithasfa ond cadarnhâu yr hyn y penderfynwyd arno yn y Cyfeisteddfod. Ac o herwydd hyn, y mae gogwydd yn y Cyfeisteddfod i ddyhysbyddu y materion fydd ger ei fron, fel na bydd eisieu ychwaneg o ymdriniaeth arnynt. Credwn fod y duedd yma yn gyfeiliornus, a bod eisieu gwahodd ymdriniaeth helaethach a rhyddach yn y Gymdeithasfa, a thuag at hyny na byddo i'r Cyfeisteddfod dynu y materion i ffurf ry benodol a therfynol. Pan ddelo mater ger bron y Cyfeisteddfod, y cwestiwn ydyw, ymha ffurf y bydd yn addfed a phriodol i gorff y Gymdeithasfa gael *ymdriniaeth* arno, ac nid ymha ffurf y byddai oreu i'r Gymdeithasfa benderfynu yn derfynol arno. Gan hyny, yr ydym braidd yn tybied y gellid cyfyngu y Cyfeisteddfod i lai o le nag yn bresennol. A phe y byddai y gwaith yn galw am hyny, gellid rhanu y Cyfeisteddfod yn adranau—pob un i ystyried ei faterion ei hun—i'w dwyn ger bron y Gymdeithasfa. Ni a gawn, yn ol llaw, sylwi yn fwy helaeth ar hyn mewn cysylltiad arall. Digon yn awr yw sylwi nad oes dim yn galw am gymaint o helaethrwydd mewn ymdriniaethau yn y Cyfeisteddfod; a chanlyniad naturiol y drefn bresennol ydyw yr awydd am *reportio* ei weithrediadau. Ond pe buasai yn cadw at derfynau ei diriogaeth briodol ni buasai anghen am hyny o gwbl, a thrwy hyn gwneid ymaith â pheth sydd yn cael ei deimlo yn dipyn o faich.

Ond y mae hyn yn dangos yn fwy nag erioed fod eisieu mwy o amser i gyfarfodydd cyffredinol y swyddogion yn y Gymdeithasfa. Y mae yr amser yn rhy brin eisoes; a phe gwahoddid mwy o ymdriniaeth eto, byddai yr amser yn fwy prin fyth. Ond yn awr y mae yn briodol i ni ystyried y lle sydd i'r cyfarfodydd hyn. Am ddeg o'r gloch yr ail ddydd (fel y gelwir ef yn awr), ymgyferfydd y pregethwyr a'r blaenoriaid ar wahân. Am ddau o'r gloch, cynnelir cyfarfod cyffredinol, a chyfyngir hwnw i tua dwy awr; oblegid am hanner awr wedi pedwar neu bump o'r gloch bydd pregethau, ac yn gyffredin, gyfarfod dirwestol neu genadol ar ol hyny. Yn awr, y mae y pentyru yma o gyfarfodydd cyhoeddus yn beth na ddylai fod, ac yn pwyso yn drwm ac yn ddianghenrhaid ar y Gymdeithasfa. Nid ydym yn gweled paham y rhaid cynnal yr oedfa gyhoeddus mor gynnar. Yn yr oes o'r blaen pan y byddai corff y gynnulleidfa yn dyfod ynghyd yn gynnar yr ail ddydd, a lliaws â chanddynt bellder ffordd i fyned i'w llettŷau, yr oedd rhyw reswm am hyny. Ond yn awr nid yw corff y gynnulleidfa yn dyfod ond gyda'r *trains* y dydd olaf, a chynifer ag a fydd yn bresennol fyddant yn llettŷa yn y dref neu yn agos. Nid oes, ni a dybiem, ddim yn galw yn awr am roddi yr oedfa mor gynnar. Heblaw hyn, gan y bydd cymaint o amser ar ol yr oedfa, rhaid cael cyfarfod dirwestol neu genadol —wedi ei wthio i gongl, yn anfanteisiol ac

annhrefnus. Ein cariad at Ddirwest a'r Gymdeithas Genadol sydd yn peri i ni ddymuno gweled hwn wedi ei ddiddymu, ac y mae yn llawn bryd gwneyd hyny. Heblaw hyn oll, y mae yn gwthio o'r ffordd awr y weddi deuluaidd, yr hyn yr oedd ein tadau yn rhoi pwys arni, ac yn cario dylanwad mawr drwyddi. Y mae yr annhrefn hwn oll yn gorphwys wrth ddrws y rhai sydd yn trefnu y cyfarfodydd. Rhodder y noson yn gyfan ac mewn hamdden i'r oedfa, a dechreuer hono am chwech neu hanner awr wedi, a cheir hamdden a lle i'r awr weddi deuluaidd. A thrwy hyn gallai y cyfarfod ddau o'r gloch barhâu am awr o leiaf yn hŵy; ac y mae cael awr yn ychwanegol yn gryn lawer, onid ydyw?

Ond nid oes dim yn y cyfansoddiad yn dyweyd mai dau o'r gloch yn unig y gellir dechre y cyfarfod cyffredinol. "Ymhob Cymdeithasfa Chwarterol, cynnelir dau neu ychwaneg o gyfarfodydd neillduol, yn cynnwys Gweinidogion, Pregethwyr, a Blaenoriaid. Ac yn y cyfarfodydd neillduol y dydd cyntaf, ymdrinir âg achosion allanol y Cyfundeb, ac yn y cyfarfod neillduol yr ail ddydd, ymdrinir âg achosion ysbrydol y Cyfundeb, yn dwyn perthynas âg athrawiaeth, profiad, a dysgyblaeth." Fel yna y dywed y *Constitutional Deed.* "Tri o gyfarfodydd neillduol, neu ychwaneg," medd y *Cyffes Ffydd.* Gan hyny, nid oes dim yn rhwystro i gyfarfod y pregethwyr a'r blaenoriaid ar wahân gael ei ddechre am hanner awr wedi wyth neu naw o'r gloch, a'r cyfarfod ynghyd ddechre am ddeg neu hanner awr wedi deg, a dau, gan barhâu, os mynir, hyd bump o'r gloch neu ymhellach; ac yna ceid amser a hamdden i lawer mwy o ymdriniaeth bwyllog nag a geir yn awr. Wrth gwrs, ni byddai raid gwneyd yr un fath bob amser; ond dylai yr holl amser o wyth o'r gloch neu naw yn y bore hyd chwech o'r gloch yn yr hwyr fod yn rhydd i'r Gymdeithasfa.

Mater arall yn dal cysylltiad â hyn ydyw y lle priodol i Hanes yr Achos yn y Sîr y byddo y Gymdeithasfa ynddi. Er ys blynyddoedd lawer bellach, gadewir ef hyd yn olaf, oddieithr coffâd am frodyr ymadawedig a'r mater ysbrydol. Ond y mae y *Constitutional Deed* a'r *Cyffes Ffydd* yn bendant ar hyn: "Ymhob Cymdeithasfa Chwarterol, y mae y pethau a berthynant i'r Sîr lle y byddo i fod dan sylw y Corff yn gyntaf (oni welir yn anghenrheidiol ymadael oddiwrth y drefn hon ar achlysuron neillduol), ac ar ol hyny achosion y Corff yn gyffredinol." Y mae y syniad yn bod yn fynych mai gwell ydyw myned drwy y materion bychain dibwys yn gyntaf, gan na chymerent fawr o amser, er mwyn cael yr holl amser gweddill i ymdrin â'r materion pwysig. Ond y mae tipyn o brofiad yn dangos fod y rheol hon yn gyfeiliornus, a bod tuedd gyffredin i siarad llawer, gan fod yr amser yn gyfleus, ar y materion bychain, ac felly na cheir lle i'r pethau mwyaf. Yr oedd ein tadau yn deall y natur ddynol yn well na hyn; ac mewn canlyniad gosodent hwy y materion penaf yn gyntaf, a chymerid y gweddill at y rhai lleiaf. Yr oedd hyn nid yn unig yn rhoddi chware teg i'r pethau mwyaf, ond ar yr un pryd yn lladd yn effeithiol y *small talk* ar faterion bychain. Gan hyny credem y byddai yn fendith i'r Gymdeithasfa adferu ei le cyntefig i Hanes yr Achos yn y Sîr, ac yn briodol iawn y byddai Coffâd am Frodyr Ymadawedig yn nesaf cyn dechre ar ddim arall, ac wedi hyny y materion pwysicaf, gan adael y pethau lleiaf hyd yn olaf. Byddai trefn fel hyn yn gynnorthwy mawr i gael yr ymddyddan yn gryno ac at y pwrpas.

Nid ydym yn gwybod pa awdurdod a ystyrir fod gan yr Ysgrifenydd, neu y Cadeirydd a'r Ysgrifenydd, yn nghyflead y materion ar y drefnlen; ond gwyddom y gallai deheurwydd yn hyn o fater fod yn effeithiol iawn i rwyddhâu gwaith y Gymdeithasfa. Yn bresennol, rhoddir y cenadwriaethau o'r Siroedd i lawr yn un o'r pethau cyntaf, yn y drefn y daethant o'r Siroedd. Pa beth bynag am eu rhoddi i lawr dan ben pob Sîr i ddechre, byddai dosbarthiad arnynt ar y drefnlen weithredol yn gymhorth pwysig. Er esiampl, dyma rai Siroedd wedi dewis aelodau o Bwyllgor y Genadaeth Gartrefol; yn lle eu pasio o un i un, gellid eu casglu ynghyd, a chymeradwyo y fyntai ar unwaith. Yr un modd gyda gwerthu capelydd, gellid casglu y rhai hyny yn un sypyn,—a chario allan yr un egwyddor i lawer o gyfeiriadau, a thrwy hyny wneyd y gwaith yn llawer mwy ysgafn i fyned drwyddo. A chyda llaw, ai nid ellid cael y Cyfarfodydd Misol i weithredu ar yr un pryd gyda dewis pwyllgorau, gwerthu capelydd, a materion cyffelyb? yn lle fod pwyllgor yn cael ei ddewis o ddarn i ddarn am fisoedd olynol—fod y cwbl yn dyfod gyda'u gilydd. Ychydig o drefniad doeth, ni a dybiem, a ddygai beth fel hyn o gwmpas fel y dylai Trefnyddion wneyd.

Trwy drefniadau fel yr uchod, ni a dybiwn y cai y Gymdeithasfa fwy o hamdden i gael ymdriniaeth fwy cyflawn â'i gwaith. Y mae gwaith mawr ganddi, ag y mae yn methu myned drwyddo, ac y mae llawer o waith eto nad yw wedi cael amser i feddwl am dano. Cawn air eto ar faich y Gymdeithasfa ar y lle; ond gwelir nad yw ein hawgrymiadau yn trymhâu nemawr os dim arno. Yr eithaf a ofynir yw dechre awr a

hanner yn foreuach. Ond gofynir pa le yr ydym am roddi yr achos dirwestol a'r cenadol. Gallai y Cyfeisteddfod wneyd ei holl waith (yn enwedig os rhenid ef yn adranau) mewn tair awr, o ddau hyd bump o'r gloch y dydd cyntaf; ac yna gellid cael un o'r cyfarfodydd hyn y noson hono, pryd y gallai swyddogion a chynnrychiolwyr y Gymdeithasfa fod yn bresennol. A dyma yr hyn yr ydym yn ei ddadleu trosto, nid nid cael cyfarfod o'r neilldu pryd nas gellir dysgwyl i neb ond rhai nad oes ganddynt lawer o ran yn y Gymdeithasfa fod ynddo, ond cyfarfod y byddo grym a dylanwad y Gymdeithasfa ynddo. Heb gael hyn byddai yn well peidio ei gael. Yn ol y dull presennol, y mae'r cyfarfodydd hyn yn cael cam, y Gymdeithasfa yn cael cam, a'r gynnulleidfa yn cael cam. Rhodder amser têg a phriodol iddo, fel y galler ei alw yn Gyfarfod Cenadol neu Gyfarfod Dirwestol y Gymdeithasfa.

Byddai y Gymdeithasfa yn ei threfn arferol yn dechre felly am ddau o'r gloch y dydd cyntaf mewn Cyfeisteddfod; yn yr hwyr, Cyfarfod Cenadol neu Ddirwestol; am hanner awr wedi wyth yr ail ddydd, y pregethwyr a'r blaenoriaid ar wahân; ac am ddeg a dau, ac wyth y trydydd dydd, cyfarfodydd y Gymdeithasfa; yn yr hwyr yr ail ddydd, pregethu; a'r weddi deuluaidd am naw o'r gloch y noson hono. Ni byddai nemawr anhawsder ychwaith i drefnu gyda chyfarfod yr ordeinio yn Nghymdeithasfa Mehefin, trwy roddi Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid ar wahân y noson gyntaf fel y gwneir yn awr. Y mae arnom awydd gwneyd rhai sylwadau ar y Pwyllgorau; ond rhaid gadael hyn hyd yr ysgrif nesaf.

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD I.

*Wil Bryan.*

DYWEDER a fyner, y mae cryn lawer o ddaioni yn y byd; a byddaf yn meddwl weithiau fod mwy o ddaioni ynddo nag sydd o ddrygioni; pe amgen, nis byddem mor ymwybodol a theimladol o'i ddrwg. Mae i mi lawer o gyfeillion, ac nid wyf yn gwybod fod i mi un gelyn. Gwn am amryw nad ydynt yn hidio dim am danaf, ac, rywfodd, nid ydwyf finnau yn gofalu dim am danynt hwythau; serch hyny, dymunwn iddynt bob daioni. Gwn am eraill eu bod yn fwy naturiol pan yn gwneyd gwyneb sur na phan yn gwneyd gwyneb llawen arnaf, er y byddaf fi bob amser yn ceisio gwneyd gwyneb siriol arnynt hwy. Ar yr un pryd, rhaid i mi addef mai *gwneyd* gwyneb y byddaf gyda'r dosbarth hwn; ond pan fyddaf gyda'm gwir gyfeillion, ni byddaf yn cofio dim am fy ngwyneb, nac yn ymwybodol fod genyf wyneb o fath yn y byd. Fel y dywedais, hyd yn nôd ymhlith y dosbarth mwyaf dihidio am danaf, nid wyf yn credu fod i mi wir elyn, hyny ydyw gelyn o stamp a chreadigaeth y diafol. A phan gofiwyf fod i lawer gŵr annhraethol ragorach na mi y fath elynion dieflig, mor ddiolchgar y dylwn fod nad oes i mi, am a wn, gymaint ag un! Yr wyf yn meddwl pe byddai raid i mi ddewis un o ddwy sefyllfa, dyweder, mewn un amgylchiad, yn cael fy edmygu a'm caru gan lu o gyfeillion cywir a chynhesgalon, ac ar y llaw arall yn cael fy mhoenydio a'm casâu gan haid o elynion mileinig, neu ynte sefyllfa na byddwn yn cael fy ngharu na fy nghasâu, —yr wyf yn meddwl y dewiswn yr olaf. Peth ofnadwy, gallwn feddwl, ydyw i ddyn fod yn ymwybodol fod iddo lu o elynion maleisddrwg a gwaedlyd; mae rhywbeth yn uffernol yn y drychfeddwl! ac eto dyma ydyw yr uffern y mae ambell i ŵr rhagorol mewn byd ac eglwys yn gorfod ei goddef tra yn y fuchedd hon.

Ond am fy nghyfeillion yr oeddwn yn meddwl. Mae yn debygol, ac nid oes genyf wrthwynebiad i hyny gymeryd lle, y bydd i'r Hunangofiant hwn ddyfod i feddiant neu dan sylw rhai o honynt, ac y bydd iddynt ei ddarllen yn fanwl, nid o ran dim gwerth sydd ynddo, ond er mwyn yr hwn a'i hysgrifenodd, pan fydd y llaw sydd yn ysgwyd y pin hwn yn gorwedd yn llonydd dan y dywarchen werdd. Er eu mwyn hwy, ceisiaf dalfyru; oblegid os âf ymlaen mor fanwl, ac os ymdroaf cyhyd gyda'r Ail Ran o fy hanes ag a wnaethum gyda'r Rhan Flaenaf, nis gwn i ba faintioli yr ymchwydda yr ysgrif. Ac er mai i ddifyru fy hun yn benaf yr wyf yn ysgrifenu, yr wyf mor hunangar, fel y byddai yn dipyn o ofid i mi pe gwyddwn na ddarllenid yr oll o'r gwaith gan rai o'm cyfeillion. Felly er eu mwyn hwy, fel y dywedais, ceisiaf grynhoi yr hanes o hyn i'r diwedd i lai o le, heb ar yr un pryd adael allan un ffaith bwysig.

Cynhebrwng Seth oedd y cyntaf erioed i mi fod ynddo; ac o herwydd fod y fath gyfnewidiadau wedi eu dwyn i mewn

ynglŷn â chladdedigaethau yn nghorff y deng mlynedd ar hugain diweddaf, hwyrach nad aumhriodol a fyddai i mi nodi ffaith neu ddwy o berthynas i hyny. Tua'r adeg hono yr oedd Methodistiaid mwyaf deallgar Sir —— yn ceisio dysgu y bobl i wneyd i ffordd â'r arferiad ffol o yfed cwrw mewn claddedigaethau. Côf genyf fy mod yn nhŷ Thomas Bartley y noswaith o flaen y diwrnod yr oedd Seth i gael ei hebrwng i dŷ ei hir gartref, pryd y daeth Abel Hughes i ymweled â'r teulu galarus. Ceisiai Abel godi gwersi buddiol oddiwrth yr amgylchiad prudd; ac yr oedd yn amlwg i mi fod Thomas a Barbara Bartley yn teimlo i'r byw dan ei athrawiaeth. Pa fodd bynag, pan grybwyllodd Abel yn y màn am yr arferiad o yfed cwrw mewn claddedigaethau, gan ddadgan ei obaith nad oedd rhieni Seth am ddal i fyny yr arferiad, cododd Thomas ei ben, ac edrychodd braidd yn ddig ar Abel; ac ebe efe,

"Abel Hughes, ydach ddim yn meddwl 'y mod i yn myn'd i gladdu 'y machgen fel claddu ci? Na, mi fydd yma fara a chaws a chwrw i bawb ddaw yma, os bydd fy llygaid i yn agored."

Dadleuai Abel âg ef yn zelog, ond nid oedd ei resymau yn cael dim effaith ar Thomas Bartley, yr hwn a ddywedodd,—

"Na, na, Abel Hughes, os oedd Seth heb fod yn hollol fel plant eraill, dydw i ddim yn myn'd i'w gladdu o hefo rhw slòt o dê," a rhwbiodd Thomas ei lygaid yn llawes ei gôb.

Bu yn un â'i air. Pan aeth Wil Bryan a minnau yn gynnar prydnawn dranoeth, gwelem ar y bwrdd hanner cosyn a chyllell wrth ei ochr, torth o fara gwŷn, clamp o *jug* â'i lon'd o gwrw, amryw bibellau newyddion, a phlât bychan yn dal tybaco. Derbyniwyd ni i'r tŷ gan Thomas Bartley ei hun, a'r gair cyntaf a ddywedodd wrthym oedd,—

"William, cymer rwbeth at dy ben; Rhys, cymer rwbeth at dy ben."

Nid oeddwn i yn teimlo fod dim o'i le ar fy mhen; a gallwn feddwl mai felly y teimlai Wil hefyd, oblegid edrychodd yn syn ar Thomas Bartley. Gwybu Thomas nad oeddem wedi deall ei ddymuniad, a thorodd glenc o fara a chaws i Wil a minnau, a llanwodd wydriad bychan o gwrw i ni. Yr oeddwn yn synu sut yr oedd Wil yn gallu yfed y cwrw heb dynu gwynebau. Cefais i gryn drafferth i'w lyncu, a chefais wybod yn y man am ei effeithiau. Teimlem ar delerau da nodedig gyda phob dyn, a meddyliwn fod fy nwylaw yn dewion ac yn hirion iawn, ac yr oedd awydd mawr arnaf naill ai i gysgu neu i chwerthin, heb fod genyf ddewis pa un. Gwn na fuasai y naill na'r llall ymddygiad gweddus yn y fath le, a gwnaethum ymdrech egnïol yn erbyn dylanwad y gwydriad, ac ni chymerais ddim yn rhagor "at fy mhen." Yr oedd amryw o'r hen gymydogion wedi dyfod i'r angladd o'n blaenau, ac yr oeddynt yn ysmocio ei hochr hi, a daeth amryw i mewn ar ein holau. Pob un a ddeuai i mewn, cyfarchai Thomas Bartley ef yn yr un geiriau: "Cymerwch rwbeth at eich pen;" ac yna äi y newydd-ddyfodiad yn syth at y *jug* a'r cwrw; cymerai wydryn, a thorai ddarn o fara a chaws. Yr wyf yn cofio fod pawb a ddaethai ynghyd yn gadael eu hetiau am eu penau, a phob un yn ei dro yn adrodd hen gofion am y peth yma a'r peth arall, heb fod un math o gysylltiad rhyngddynt â marwolaeth Seth. Yr oedd agos i bawb yn ysmocio ac yn poeri ar lawr, ar yr hwn yr oedd swnd gwŷn wedi ei daenu yn lled dew. Adgyflenwyd y *jug* lawer gwaith. Wedi i un helpio ei hun o'r cwrw, gosodai y gwydryn ar gyfer y gŵr a eisteddai ar ei aswy, a throai ddolen y *jug* i'r un cyfeiriad. Os byddai y gŵr hwnw yn ddiawydd am yfed, symudai y gwydryn at y nesaf ato yntau, a throai ddolen y *jug* yr un modd. Byddai ambell un yn anghofio gwneyd ei ddyledswydd mewn amser rhesymol; ac yna gwaeddai rhywun mwy barus na'i frodyr, "At bwy mae'r ddolen?" yr hyn oedd arwydd i'r hwn yr oedd y ddolen yn cyfeirio ato i yfed, neu ynte i droi y ddolen at ei gyfnesaf. Aeth y gwaith hwn ymlaen am awr a hanner neu ddwyawr; ac yr oedd ambell un wedi yfed ymron gymaint a allai yn ddiogel ei ddal, a gwedd ei wyneb wedi newid. Yr wyf yn cofio y fynyd yma am James Pwllfford y teiliwr, dyn bychan, teneui siaradus, gwyneb yr hwn a fyddai yn gyffredin càn llwyted âg angeu,—ei fod y prydnawn hwnw â'i wyneb mor wridgoch âg un gwas ffarmwr a welais erioedr

Ychydig fynydau cyn troi allan i fyned tua'r fynwent, daeth dau ddyn i mewn o'r ystafell nesaf; ac yn eu dwylaw yr oedd llestri piwtar tebyg o ran ffurf i'r llestri a ddefnyddir i weinyddu y cymun yn y dyddiau hyn, ond eu bod yn fwy. Yr oedd dolenau y llestri hyn wedi eu hadd urno â chroen *lemon*. Yn un llestr yr oedd yr hyn a elwid "y cwrw brŵd;" ond mwy priodol a fuasai ei alw y cwrw berwedig; ac yn y llestr arall yr oedd "y cwrw oer;" yr oedd y ddau yn *highly spiced*. Càn gynted ag y gwnaeth y llestri hyn eu hymddangosiad, tynodd pawb ei het oddiam ei ben; ac yn nghanol dystawrwydd fel y bedd, elai y ddau ddyn o gwmpas gan weinyddu y ddwy fath ddiodeu yn gymhwys yr un modd ag y gweinyddir sacrament Swper yr Arglwydd, ac ymron gydà'r un difrifoldeb. Pa beth

oedd ystyr hyn, ni wyddwn, ac ni chefais wybod hyd y dydd hwn. Wedi myned trwy y seremoni hon, gosododd pawb eu hetiau am eu penau drachefn, ac ail ddechreuwyd ar y chwedleua. Yn y man daeth Dafydd y Saer â'r plât o gwmpas, ac offrymodd y dynion swllt yr un, a Wil Bryan a minnau chwe' cheiniog yr un, oblegid dyma oedd yr arferiad i hogiau. Dylaswn fod wedi dyweyd fod Abel Hughes wedi dyfod i mewn ychydig fynydau cyn adeg "codi'r corff," fel y dywedid; a phan ofynodd Thomas Bartley iddo "gymeryd rhwbeth at ei ben," efe a wrthododd. Anfoddlonwyd Thomas yn fawr gan ei ymddygiad. Pan ddaeth yn bryd cychwyn i'r eglwys, nid oedd yno neb o'r rhai a ddaethai i'r cynhebrwng yn arferol a gweddïo yn gyhoeddus oddieithr Abel Hughes; ac yr oedd Thomas wedi cymeryd mor angharedig ato am wrthod "cymeryd rhwbeth at ei ben," fel na ofynodd iddo wasanaethu; a gwelais ef yn siarad yn nghlust Dafydd y Saer, yr hwn oedd ddyn anfoesol iawn. Pan roddwyd y corff ar yr elor, gosododd pawb ei het ar un glust gan ymddangos fel pe buasent yn gwrando ar rywbeth oedd ganddi i'w ddyweyd wrthynt. Heliodd y gwragedd o'r ystafell arall i edrych trwy y ffenestri, gan osod eu cadach poced ar eu safnau; aeth Dafydd y Saer ar ei liniau yn ymyl yr elor, a dywedodd ei bader can gyflymed â'r gwynt, yn union fel pe buasai yn cyfrif ugain o ddefaid.

Yna aed yn orymdaith tua'r fynwent. Cerddai Wil Bryan a minnau un o bobtu i Thomas Bartley, a chariwn i yr *evergreens*, a chariai Wil y swnd, i addurno bedd Seth. Yn yr eglwys, tra yr oedd Mr. Brown yn carlamu dros y wers gladdu, sylwais fod amryw wedi syrthio i gwsg trwm, ac yn eu plith James Pwllford, trwyn yr hwn a orweddai yn daclus ar ei wasgod. Ar ol y gwasanaeth wrth y bedd, esgynodd Dafydd y Saer i ben cistfaen i ddiolch i'r cymydogion dros y teulu am eu caredigrwydd yn dyfod i'r angladd; ac ychwanegodd fod Thomas a Barbara Bartley yn dymuno dadgan eu hyder y byddai iddynt hwythau ryw ddydd heb fod ymhell gael cyfleusdra i dalu yn ol y caredigrwydd yn yr un ffordd i bawb oedd yno, ac mai yn y *Crown* y dymunai tad yr ymadawedig iddynt oll gyfarfod yn awr ar ol y gwasanaeth. Ar ol addurno'r bedd, aeth pob un yn yr angladd, oddeithr Abel Hughes, Wil Bryan, a minnau, ar eu hunion i'r *Crown* yn ol y gwahoddiad. Yr oedd Wil hefyd yn ddigon parod i fyned, ond ei fod yn ofni helynt gartref. Tra yr oeddym ni yn yr eglwys, yr oedd llonaid tŷ o gymydogesau yn yfed tê gyda Barbara, ac yr oedd fy mam yn un o'r gwahoddedigion. Yn groes iawn i'w hewyllys yr aeth hi yno; ond clywais hi yn dyweyd pe buasai yn gwrthod y gwahoddiad na buasai Barbara byth yn tori Cymraeg â hi. Nis gwn pa beth oedd yn myned ymlaen yn y *Crown;* ond ymhen rhai oriau gwelais Thomas Bartley yn dychwelyd adref rhwng dau gymydog; ac er eu bod yn lled ddystaw, gallwn feddwl fod rhyw anghydwelediad rhyngddynt ynghylch pa ochr i'r ffordd oedd oreu ei cherdded; a thoc ar ol hyny clywais James Pwllford yn myned heibio ein tŷ ni dan ganu,

"Ar lànau Conwy ar fy nhro."

Pe buaswn yn argraffu hyn, diammheu genyf y buasai rhywrai yn synu ac yn anghredu; ond gwn y buasai eraill yn dwyn tystiolaeth i gywirdeb y desgrifiad, ac yn dyweyd mai ei fai ydyw ei fod yn rhy fyr, ac nad ydyw yn adrodd yr holl wir. Yr wyf wedi ymattal rhag cofnodi yr holl bethau anweddaidd a gymerodd le ynglŷn â chladdedigaeth Seth. O drugaredd, y fath ddiwygiad sydd wedi cymeryd lle gydag angladdau erbyn hyn! Ac eto y mae lle i ychwaneg. Os ydyw y cwrw wedi ei alltudio, y mae y tê a'r coffi a'r *ham* a'r *beef* wedi cymeryd ei le. Pan fydd amryw ddyeithriaid yn dyfod o bell o ffordd i gladdedigaethau, dichon fod rhyw gymaint o briodoldeb mewn parotoi ymborth ar eu cyfer. Ond pa reswm a ellir ei roddi dros yr holl wledda ar adeg cynhebrwng a welir ymhlith cymydogion? Bydd rhai teuluoedd tlodion yn parotoi gwledd gostus, a hyny ar gyfer pobl sydd yn byw yn eu hymyl. Mae dal i fyny yr arferiad ffol yn greulondeb at y tlawd, ac yn anweddaidd i'r eithaf, dybygwn.

Wedi claddu Seth, nid oedd genyf yn gyfaill mynwesol ond Wil Bryan yn unig; ac yr oedd argyhoeddiad beunyddiol ynof nad oedd fy nghysylltiad âg ef i fod o hirbarhâd. Yr oedd gan Wil galon agored a charedig, ac ysbryd bywiog a beiddgar; ond o ddydd i ddydd cryfhâi ymwybyddiaeth ynof nad oedd efe yn fachgen da. Siaradai yn ddiystyrllyd am reolau manwl y seiat; ac anaml y galwai efe neb wrth eu henwau priodol. Llysenwai ymron bawb a adwaenai. John Llwyd, fel y sylwais, a alwai efe "yr hen grafwr"—Hugh Bellis, y blaenor a fyddai yn wylo dan y bregeth, "yr hen *waterworks*"—Thomas Brown, y gŵr poblogaidd gyda'r plant, "yr hen drymp"—Abel Hughes, am ei fod yn gwisgo clos pen glin, ac am fod ei goesau yn feinion, "yr hen wnionyn." Yr oedd ganddo rhyw "hen" rywbeth wrth enw pawb. Ni byddai byth yn sôn am ei dad a'i fam ond wrth yr enwau "y gaffer acw," a'r "hen bannes acw." Ac yr wyf wedi sylwi byth oddiar hyny mai gwir a

ddywedai fy mam, fod rhyw ddiffyg pwysig yn nghymeriad bachgen fydd yn arfer galw ei dad yn "*gaffer*" ac yn "*governor*," a'r cyffelyb. Nid wyf yn ammheu nad oedd y gallu hwn o eiddo Wil i roddi enwau desgrifiadol ar bobl yn dalent neillduol ynddo pe buasai wedi ei throi i'r iawn gyfeiriad. Mae rhai o'r enwau digrifddrwg wedi glynu wrth eu perchenogion hyd y dydd hwn; ond nid da i mi nac i neb arall a fyddai eu croniclo. Ni ddarfu i mi sylwi yn benodol ar y duedd hon yn Wil i roddi enwau ar bobl nes iddo un tro sôn wrthyf am fy mam dan yr enw "yr hen ddeg gorchymyn acw," yr hyn a'm tramgwyddodd yn fawr. Pan welodd Wil nad oeddwn yn hoffi yr enw, ni ddarfu iddo ei arfer mwy. Ond wrth i mi heddyw ystyried, nis gallaf beidio gweled ryw briodoldeb yn yr enw hwnw; oblegid byddai fy mam fyth a hefyd yn rhoi gorchymynion i ni, ac yn ein siarsio ni i wneyd y peth yma a'r peth arall. Pan gofiwyf fod fy mam yn wraig weddol graff, mae yn syn genyf feddwl iddi oddef i mi ddal cymaint o gymdeithas â Wil; ond erbyn i mi ailfeddwl nid ydyw yn syndod yn y byd. Ni welais yn fy mywyd fachgen â'r fath allu ganddo i osod ei hunan ar delerau da gyda phobl. Yr oedd ei gyfrwysdra, ei wyneb prydferth a siriol, ei osodiad dewr a chadarn, ei lais soniarus, ynghyd a'i dafod llyfn ac arabus, yn arfau a ddefnyddiai i bwrpas bob amser. Yr oedd yn deall fy mam i'r dim. Clywais hi yn dyweyd fwy nag unwaith pan fyddai yn isel ei hysbryd, fod ymweliad o eiddo Wil yn hanner ei mendio. Gwelais hi hefyd yn gwenu, ac yn gorfod gwneyd ymdrech galed i beidio chwerthin allan ar rai o sylwadau digrifol Wil, pryd y gwyddwn o'r goreu pe gwnaethwn i yr un sylwadau, ac hyd yn nôd yn yr un geiriau, y rhoisai fonclust i mi. Mi wn y teimlai hi yn fynych ei bod yn cyd-ddwyn yn ormodol â digrifwch Wil, ac fel i dawelu ei chydwybod, rhoddai iddo gynghorion buddiol. Gwasanaethed yr ymgom ganlynol fel engraifft o lawer o rai cyffelyb:—

"Wel, Wil bach, mi wnei lawer o dda neu o ddrwg yn y byd yma; a gobeithio'r anwyl y cei di dipyn o ras."

"Mae digon o hono i'w gael, on'd oes, Mary Lewis? ond fydda' i byth yn leicio cymyd mwy na fy *share* o ddim, wyddoch."

"Paid a siarad yn ysgafn, Wil; fedri di byth gael gormod o ras."

"Felly y bydd y *gaffer* acw yn deyd yn wastad; ond dydi o ddim yn beth da, mi wyddoch, Mary Lewis, bod yn rhy *having.*"

"Pwy ydi dy '*gaffer*' di, dywed?" gofynai fy mam.

"On'd yr hen law acw; 'y nhad, wyddoch," ebe Wil.

"Wel," ebe fy mam, gan edrych yn ddifrifol arno; "yr ydw i yn dy siarsio di i beidio galw dy dad yn '*gaffer*' ac yn 'hen law.' Weles i rioed ddaioni o blant fydde'n galw eu tad a'u mam yn 'hwnacw' ac yn 'honacw," neu yr 'hen law-acw,' a'r 'hen wraig acw.' Paid di a gadel i mi dy glywed di yn galw dy dad ar yr enwau gwirion ene eto, cofia di."

"*All right,*" meddai Wil; "y tro nesaf mi galwaf fo yn Hugh Bryan, Esquire, General Grocer and Provision Dealer, Baker to his Royal Highness yr Hen Grafwr, and ——."

Ond cyn iddo orphen ei stori byddai raid iddo wneyd y goreu o'i draed, a fy mam yn ei ddilyn gyda rhyw arfyn yn ei llaw. Ond er ei holl ddirieidi, ni theimlai fy mam yn ddig ato; a mynych y dywedai, "Un garw ydi'r bachgen ene; pe centhe fo ras mi neuthe bregethwr nobl." Creai sylw fel hwn ychydig o eiddigedd ynof; oblegid ni ddywedai byth y gwnaethwn i bregethwr, er fod hyny yn ddymuniad penaf fy mywyd erbyn hyn; a gwyddwn nad oedd Wil yn dychymygu am fod yn bregethwr.

Nid wyf yn meddwl i fy mam goleddu syniad is am Wil na'i fod yn fachgen direidus hyd nes iddo ddechre troi ei wallt oddiar ei dalcen, neu fel y dywedid y pryd hyny, "gwneyd Q. P." Pan welodd hi rês wèn ar ben Wil, ac arwyddion ei fod wedi rhoddi olew yn ei wallt, yr oedd ei dynged wedi ei phenderfynu am byth yn ei golwg. Gofidiwn yn fawr fod fy mam yn edrych ar yr *innovation* hwn mewn gwêdd mor bwysig; oblegid meddyliwn fod Wil yn edrych yn rhagorol yn ei Q. P; a hiraethwn am ganiatâd i'w efelychu. Yr oeddwn wedi llwyr flino ar y dull oedd gan fy mam i dori fy ngwallt, sef gosod cwpan fenyn fawr am fy mhen, a'i dori hefo ei hymylon, nes oeddwn yn edrych yn union yr un fath â chocyn gwenith newydd ei doi. Gwelais nad oedd gobaith am ddiwygiad yn y ffordd hon; a chof genyf i fy mam wneyd y sylwadau canlynol wrth Wil Bryan pan welodd hi ei Q. P:—

"Wel, Wil bach, yr oeddwn i'n arfer meddwl dy fod yn fachgen lled dda er dy holl ysmaldod. Ond mi welaf fod y diafol wedi cael màn gwan arnat tithau."

"Be ydi'r mater 'rwan, Mary Lewis? Ddaru mi ddim lladd neb yn ddiweddar, ai do?" gofynai Wil.

"Naddo, mi obeithiaf," ebe fy mam; "ond y mae isio i ti ladd yr hen ddyn."

"Pwy ydach chi'n feddwl, Mary Lewis? ai y gaffer acw? Nana i, neno'r anwyl, ddim lladd yr hen law! Be ddoi o hono i? Mi fyddwn wedi llwgu."

"Nage, Wil, nid dy dad ydw i'n feddwl, ond yr hen ddyn sydd yn dy galon di."

"Hen ddyn yn 'y nghalon i? Does yna'r un hen ddyn yn 'y nghalon i, mi gymra fy llw."

"Oes y mae, Wil bach, ac mi gei wybod hyny ryw ddiwrnod."

"Wel, pryd yr aeth o i nghalon i, Mary Lewis?" gofynai Wil. "Rhaid fod o yn un bychan iawn, llai na Tom Thym!"

"'Rodd o yn dy galon di cyn dy eni, ac y mae yn fwy na'r cawr Goliath," ebe fy mam; "ac os na chymeri di gareg lefn o afon iechydwrieth, a'i suddo hi yn ei dalcen o, mae o yn sicr o dori dy ben â'i gledde."

"Sut y medra' i," ebe Wil, "yru careg i'w ben o os ydi o yn 'y nghalon i? a sut y medr o dori 'mhen i â'i gledde?

"Mi wyddost am bwy yr ydw i'n sôn, Wil," ebe fy mam; "yr hen ddyn pechod ydw i yn 'i feddwl."

"O! mi rydw i 'n ych dallt chi 'rwan. Pam na siaradwch chi'n blaen, Mary Lewis? ond dydi pechod yn 'n clone ni gyd, medde'r hen—y nhad acw."

"Ydi, machgen i," ebe fy mam; "ac y mae o'n dwad allan yn dy ben di hefyd hefo 'r Q. P. gwirion yna." Ac ymosododd fy mam yn hyawdl a diarbed ar falchder a drygioni yr arferiad o droi y gwallt oddiar y talcen. Teimlodd Wil y cerydd, ac aeth ymaith braidd yn ffroenuchel.

"Rhys," ebe fy mam, pan aeth Wil ymaith; "paid di gwneyd llawer o shapri o Wil o hyn allan. Mae balchder wedi meddiannu ei galon. Yr ydw i'n synu at Hugh Bryan yn goddef iddo wneyd y fath beth. Pydase fo'n fachgen i mi, mi fuaswn yn tori ei wallt yn y gnec, a mi faswn hefyd. Dyna lle mae o, mi wn, yn edrych arno 'i hunan yn y *glass* bob dydd i borthi 'i falchder. Diolch i'r Brenin mawr, fu 'rioed *lookinglass* yn ein teulu ni nes i dy frawd Bob dd'od âg un yma; a fase'n dda gan 'y nghalon i bydase hwnw 'rioed wedi d'od dros y rhiniog. Mi fydde dy nain yn deyd fod pobl wrth edrych i'r *glass* yn gweled y gŵr drwg; ac mi greda i hyny yn hawdd. Wn i ddim be ddaw o'r oes sydd yn codi os na chawn ni ymweliad buan;" ac ocheneidiodd fy mam o waelod ei chalon.

---

### ANGHYMEDROLDEB.

Araeth a draddodwyd mewn Cyfarfod Dirwestol, dan lywyddiaeth Syr LLEWELYN TURNER, a gynnaliwyd ynglŷn â Chymdeithasfa y Rhyl.

*Gan y Parch.* DANIEL ROWLANDS, M.A.

NID oes un mater ag y ceir y dyddiau hyn, ar bob llaw, y fath unfrydedd gyda golwg arno âg fod anghymedroldeb y wlad hon yn ddrwg mawr ac andwyol. Nid ydyw yn beth i chwerthin am ei ben, ac nid ydyw i fyned heibio iddo yn ddisylw. Yn wir, nid oes unrhyw ddyn ag a allwn gyfarfod na chyfrifai ef yn ddwfn sarhâd i beidio cael ei ystyried fel yn edrych ar anghymedroldeb a meddwdod gyda ffieidddod ac adgasrwydd. A phe byddai i bawb o honom edrych ar y peth yn debyg fel y mae, fe ddenai ein gwrthwynebiad iddo yn gan' mwy. Mae yr holl deyrnas yma bellach er ys rhai blynyddoedd wedi bod yn gruddfan gan gyfyngder masnachol, a channoedd o filoedd o'n cyd-ddeiliaid wedi bod yn dyoddef dirfawr dlodi. Ond beth all fod wrth wraidd tlodi y wlad yn debyg i anghymedroldeb? Fe geir fod y swm a wariwyd am ddiodydd meddwol y 7 ml. diweddaf yn dyfod yn £138,000,000 am bob un o'r blynyddoedd hyny. Mae swm fel yna yn rhy fawr i allu ei amgyffred. Ond pe cymerech chwi yr oll a dalwn mewn blwyddyn am fara, a'r oll a dalwn am dê, coffi, *cocoa*, a siwgr, ynghyd a'r oll a dalwn am bob math o nwyddau *cotton*, fe fyddai y swm mawr hwnw—£129,000,000—yn *llai* o naw miliwn o bunnau na'r hyn ydym wedi bod yn dalu y blynyddoedd hyn am ddiodydd meddwol. Fe ofynir, fe allai, I beth y mae arian yn dda ond i'w gwario? Gwir, i'w gwario y maent; cyfrwng cyfnewid ydynt; ond nis gall fod dim yn fwy andwyol i bobl na'u bod yn gwario eu harian heb gael cyfnewid priodol am danynt. Yn yr ystyr yma, "esmwythdra y rhai anghall a'u lladd, a llwyddiant y rhai ffol a'u dyfetha." Ac a all rhywun feddwl am fynyd fod un math o reswm mewn gwario mewn blwyddyn ar ddiodydd meddwol fwy o wyth miliwn o bunnau nag ardreth holl diroedd a holl dai y deyrnas i gyd, a mwy o naw miliwn nag am fara, am dê a choffi a *cocoa* a siwgr, ac am bob math o nwyddau *cotton*? A beth, attolwg, a geir am yr holl arian yma? Yr wyf yn addef fy mod i, ar ol talu i'r cwestiwn y sylw goreu a allaf wneyd, a hyny yn ngoleuni *science* a doethineb uchaf ein hamseroedd, yn methu gweled ein bod yn cael dim lles.Ië, a da pe buasai yn aros ar hyny. Yr ydym yn bobl gyfoethog; a phe buasai £138,000,000 o'n harian yn cael eu taflu bob blwyddyn i'r môr, mae yn debyg y dywedai rhai y gallem fforddio hyny. Wel, mae yn ymddangos i mi yn hollol glir y gallem ei fforddio y tu hwnt i bob cymhariaeth yn well na'u gwario am ddiodydd meddwol. Oblegid os nad ydym yn cael dim lles trwy hyny, yr ydym, yn sicr, yn cael digon o niwed. Y fath drueni a gawn, mewn newyn a noethni, a phob math o anghysuron. Y fath nwydau dieflig a gynhyrfir gan y ddiod, sydd yn barhâus

yn peri i bobl o ddynoliaeth hawddgar ymddwyn tuag at y rhai a ddylent fod yn anwylaf ganddynt yn greulonach na dreigiau yr anialwch. Y fath droseddau a achosir! Yr areithiau dirwestol mwyaf pwysig yn ein dyddiau ni yw y rhai a draddodir gan Farnwyr ei Mawrhydi, y rhai ydynt, y naill ar ol y llall, yn dadgan yn barhâus yn ein brawdlysoedd oni b'ai am y ddiod feddwol na fyddai ganddynt hwy nemawr ddim i'w wneyd, ac y byddai ein carcharau yn weigion. Ac fe dystiolaethir gan ein *Commissioners in Lunacy* fod y rhan fwyaf o lawer, fe allai dair rhan o bedair, o wallgofrwydd y deyrnas yn cael ei beri yr un modd gan y ddiod feddwol. Am afiechyd, fe dystir gan feddygon sydd yn sefyll yn mlaen eu *profession*, fel Syr Henry Thompson ac eraill, fod peth anfeith o afiechyd y deyrnas i'w olrhain, nid yn unig i feddwdod, ond i ymarferiad â'r ddiod feddwol o fewn terfynau a olygir gan bawb yn dra chymedrol. Ac am farwolaethau, fe fu adeg y condemnid yn fawr y dywediad fod 60,000 yn marw yn y deyrnas yma bob blwyddyn o herwydd ymyfed; ac fe ddarfu i Dr. Norman Kerr,—ac o herwydd y digofaint a deimlai at y fath ddywediad—wneyd ymchwiliad maith ac amyneddgar, ymchwiliad a gostiodd iddo lafur difesur, i'r mater; ond fe ddarfu i'r ymchwiliad hwnw ei argyhoeddi, nid fod 60,000 uwchlaw y nôd, ond ei fod lawer iawn islaw iddo. Yr oedd efe yn cael, trwy gyfrifiadau meithion a llafurus, y rhai a wneid ganddo mewn llawer o wahanol ffyrdd, na allai lladdedigion ymyfed yn y deyrnas hon bob blwyddyn, yn uniongyrchol ac anuniongyrchol, fod yn ddim llai na *chwech ugain mil!* Fe ddarllenodd bapyrau ar y mater o flaen amryw o gymdeithasau dysgedig, ac fe fu llawer o drafodaeth arno yn nghyfarfodydd y cymdeithasau hyny a thrwy y wasg, ac nid oes neb eto wedi gallu dangos ei fod yn camgymeryd. Chwech ugain mil yn myned i fyd arall bob blwyddyn o herwydd anghymedroldeb! Fe ganai Tennyson am ymosodiad Balaclava,

> "Down to the valley of death
> Rode the six hundred."

Ond nid chwe' chant sydd yma yn myned i lawr i ddyffryn marwolaeth, ac nid chwe' mil, ond chwech ugain mil. Ac Och fi! pan mae chwech ugain mil o feddwon un flwyddyn yn camu drosodd i'r trueni mawr, mi glywaf o'r blynyddoedd drwst traed tyrfa fawr arall yn dyfod ar eu hol, ac felly chwech ugain mil neu ychwaneg yn dyfod ymlaen bob blwyddyn, ac yn myned rhagddynt i'r tywyllwch! Fe gyhuddir dirwestwyr weithiau o fod yn eithafol; mae y *joke* dlawd eu bod yn dra anghymedrol yn eu geiriau wedi hen fyned yn dra llom. Y gwirionedd yw nad oes eisieu i unrhyw ddyn ond edrych yn bwyllog yn wyneb y drwg mawr hwn na theimla fod yr ymadroddion cryfaf yn rhy weiniaid i ddangos ei erchylldra. Nid oes neb yn fwy medrus i bwyso ei eiriau na Mr. Gladstone, ac eto wrth edrych ar y trueni a achosir gan anghymedroldeb, ni allai efe lai na dyweyd yn un o'i areithiau yn Nhŷ y Cyffredin ei fod yn cynnyrchu drygau unedig rhyfel, haint, a newyn. Ië, os edrychwch i'r ochr draw, rhaid i chwi addef fod y geiriau ofnadwy yna hefyd yn llesg a thlodion. Y geiriau mwyaf cymhwys y gallaf fi feddwl am danynt i ddangos mawr ddrwg anghymedroldeb ydynt eiddo yr Apostol Ioan yn y Dadguddiad: "Ac mi a edrychais. ac wele farch gwelwlas; ac enw yr hwn oedd yn eistedd arno oedd Marwolaeth; ac yr oedd Uffern yn canlyn gydag ef."

Ond beth a wneir tuag at gael ymwared o drueni mor fawr? Y mae yn warogaeth i rinwedd, ac yn gydnabyddiaeth werthfawr o nerth y teimlad dirwestol, fod y cwestiwn hwn yn awr yn un o'r rhai mwyaf parchus sydd yn tynu sylw y deyrnas. Nid yn unig y mae dirwestwyr a phobl grefyddol yn ei gymeryd at eu hystyriaeth, ond fe broffesir ei astudio mewn llawer o gylchoedd eraill hefyd. Fe ddywed y tafarnwyr fod hwn yn gwestiwn pwysig ganddynt hwy; a gwelais fod un o honynt yn ddiweddar yn gwneyd araeth fawr i ddangos mai yfed yn gymedrol ydyw y feddyginiaeth, ei fod yn well na llwyrymwrthod, oblegid gyda llwyrymwrthodwr y byddai raid i un yfed potelaid o win ei hunan, tra gydag yfwr cymedrol y cawsid ei rhanu rhyngddynt, ac felly na wnelsai gymaint o niwed! Y mae y tafarnwyr, bid siwr, yn bobl o gymeriadau rhagorol, onidê ni chawsent drwyddedau i werthu diod feddwol; a dywedant eu bod yn gwneyd ymdrechion mawrion i gadw eu cwsmeriaid yn sobr. Ac yn sicr y maent yn llwyddo yn rhyfeddol! A chymaint ydyw ein gwerthfawrogiad ninnau o'u llafur yn y cyfeiriad yma fel y dymunem roddi pob help iddynt. Yr ydym yn cael ar ddeall fod rhai o honynt, er gwaethaf Act fendithiol Mr. John Roberts, yn agor eu tai eto i werthu diod ar y Sabboth. Fe allai y byddai yn gystal i'r rhai hyny ddeall ein bod â'n llygad arnynt; ac os ydynt yn rhy weiniaid i hyny eu hunain, y gofalwn ni am eu cynnorthwyo i gadw y gyfraith ac i gau eu tai. Y mae yr heddgeidwaid, a'r *inspectors of police*, a'r *chief constables*, wrth eu swydd yn ffafriol i sobrwydd, ac yn cael eu bywoliaeth wrth weled fod y cyfreithiau yn cael eu cadw. Y mae ein llygad arnynt hwythau hefyd, a bydd yn

dda genym eu cynnorthwyo os bydd raid. Ac yr ydym yn dymuno rhoddi iddynt rybudd caredig fod ambell i weithred o eiddo rhai o honynt ag sydd wedi tynu ein sylw yn ddiweddar yn y fath fodd fel y mae perygl mai yr unig ffordd y gallwn eu cynnorthwyo *hwy* i ofalu am gadwraeth y gyfraith ydyw trwy fŷnu eu bwrw gyda digllonedd o'u lleoedd. Y mae ein *magistrates*, wrth reswm, yn wŷr anrhydeddus, oll yn anrhydeddus iawn, "they are all honourable men;" ond os na weinyddant y cyfreithiau heb ofn na ffafr, pa mor barchus bynag y gallo rhai tafarnwyr cyfoethog a rhai meddwon o sefyllfaoedd uchel fod yn eu golwg, ni a ofalwn am i Dŷ y Cyffredin a'r Llywodraeth gael gwybod am eu campau, ac fe geir, ond odid, fod "meistar ar Meistar Mostyn." Ac y mae yn dda iawn genym weled fod ein haelodau Seneddol, erbyn hyn, mor ryfeddol o gyfeillgar i sobrwydd. Yr ydym yn hyderus y bydd cau y tafarnau ar y Sabboth yn fuan yn ddeddf i'r holl deyrnas, neu y rhoddir gallu i bob gwlad wneyd hyny o fewn ei therfynau ei hunan. Da genym weled hefyd fod Tŷ y Cyffredin, ddwywaith bellach, wedi pasio fod gallu cyffelyb yn cael ei roddi i'r bobl yn eu gwahanol ardaloedd i benderfynu pa un a ydyw tafarnau i fod yn agored yn eu plith o gwbl. Mae yn dda iawn genym weled y cynnydd mawr y mae ein Seneddwyr a'r Llywodraeth wedi wneyd yn y pethau hyn; a gallwn eu sicrhâu y bydd i gydwybod y wlad hon gymeradwyo eu gwaith, a'u cynnorthwyo gydag ef yn fwyfwy. Ni a anrhydeddwn â'n holl galon y rhai hyny o'n gwŷr cyhoeddus sydd yn barod i gydymdeimlo â ni yn ein hymgais i fyw yn fwy rhinweddol, ac i roddi gallu i ni i symud o'r neilldu y temtasiynau ag y teimlwn eu bod mor beryglus i ni. Ac am y gwŷr hyny yn eu plith ag y mae arswyd "y fasnach"—nid oes ond un!—yn meddu cymaint mwy o allu arnynt na holl deimlad da y bobl, wel—ni a ofalwn am eu troi at ryw waith sydd yn fwy cyfaddas iddynt nag eistedd yn Senedd Prydain Fawr. Fe ddywedir ei fod ar un adeg yn ddiweddglo i bob araeth gan Cato yn Senedd Rhufain, "Ac yr ydwyf yn barnu y dylid dinystrio Carthage." Beth a allwn ninnau ddyweyd am y fasnach yn y diodydd meddwol, nad ydyw yn ymddangos fod yn bosibl iddi flodeuo ond yn nirywiad, os nad yn ninystr, y bobl ag y cerir hi ymlaen yn eu plith, ond ein bod yn credu y dylid ei dinystrio? Ac os oes unrhyw heddgeidwad, neu *chief constable*, neu ustus heddwch, neu aelod Seneddol, ïe pe byddai yn aelod o Lywodraeth ein grasusaf Frenines, neu hyd yn nôd yn brifweinidog,—os oes rhywun felly yn dychymygu y gall, yn erbyn cydwybod y genedl, gynnal i fyny fasnach mor niweidiol, ni a ddymunem yn garedig sicrhâu y cyfryw un mai y peth doethaf a allai wneyd fyddai cilio o'r neilldu mor fuan ag y bo modd o ffordd dymchweliad sydd cyn bo hir yn anocheladwy.

Ond tra yn mawr werthfawrogi pob cynnorthwy a aller gael tuag at symud pob temtasiwn ynglŷn â'r ddiod feddwol o'r ffordd, ac yn dangos ein diolchgarwch am danynt yn y ffordd dda o "deimlad byw am ffafrau i ddyfod," a thra yn benderfynol hefyd y gwnawn a allom tuag at gael ymwared llwyr o'r holl faglau dinystriol hyn, beth sydd genym ni i'w wneyd tuag at brysuro y dyddiau da trwy ein hymarferiad a'n dylanwad personol? Yr atebiad clir, diammwys, anffaeledig, sydd genym i'w roddi i'r cwestiwn hwn ydyw, Llwyrymwrthod â phob math o ddiodydd meddwol ein hunain, a gwneyd ein goreu tuag at gael pawb a fo o fewn cylch ein dylanwad i wneyd yr un peth. Mae gan "Gymdeithas Ddirwestol yr Eglwys" ddau ymrwymiad, un i lwyrymwrthod, a'r llall i yfed yn gymedrol. Yr ydwyf yn gweled fod rhai o'r bobl dda sydd yn rhy weiniaid i ymgynnal dan iau drymach na'r "cymedroldeb," yn teimlo fod llwyrymwrthodwyr y Gymdeithas yn rhy zelog. Y maent mor groendeneu, a'u gewynau wedi eu gosod ynghyd mewn modd mor lednais fel y mae gerwinder yr ymgyrch yn erbyn y gelyn cyffredin yn barhâus yn eu briwo. Ac y mae y brofedigaeth yma yn ymledu i gylchoedd eangach na Chymdeithas Ddirwestol yr Eglwys. Na chamddealler ni. Ni fynem er dim yngan gair a ddoluriai deimladau neb. Ni fynem ddyweyd dim yn angharedig am y tafarnwyr. Yn hytrach yr ydym yn mawr gydymdeimlo â hwynt yn eu galwedigaeth beryglus. Nid oes yr un fasnach mor ennillfawr, ac nid oes yr un sydd mor fynych yn gyru y rhai sydd yn ei chario ymlaen i lysoedd y methdalwyr. Fe ddywedir fod ei diodydd yn gwneyd lles i bobl, ac eto y mae y Cofrestrydd Cyffredinol yn dangos, am bob cant o'r boblogaeth mewn galwedigaethau eraill yn y deyrnas hon sydd yn marw bob blwyddyn, fod cant a deunaw o'r tafarnwyr yn marw. A llawer llai y meddyliem am beri y dolur lleiaf i deimlad neb da a chydwybodol sydd yn credu mewn arfer y ddiod yn gymedrol. Ond dymunem ofyn i'r bobl dda hyny, os ydynt yn credu mai dyma y feddyginiaeth oreu rhag drwg sydd yn ysu ymaith fywyd cymdeithas, paham na ddeuant allan, a chyda zel merthyron, i'w phregethu. Os oes ganddynt orchestion i'w cofnodi am waith yr egwyddor yma yn achub meddwon ac yn diogelu rhai rhag myned yn feddwon, er mwyn pobpe'

gadewch i ni wybod rhywbeth am danynt. Ond yr ydym ni yn gwybod, tra yn sefyll ar graig llwyrymattaliad, ein bod yn berffaith ddiogel. A mwy, y mae ein profiad, a'n sylw, a'n gwybodaeth o hanes dynolryw trwy yr oesoedd, yn ein hargyhoeddi ni nad oes dim lle arall sydd yn ddiogel rhag yr hudoliaeth felldigedig sydd yn y diodydd meddwol. Ac wrth eich cymhell oll, fy nghyfeillion, i ddyfod yn llwyrymwrthodwyr, mae yn dda genyf eich hysbysu na fydd genych wrth wneyd hyny ddim byd i'w golli, ond y bydd genych bobpeth i'w ennill. Fe fu amser pan gredid fod y ddiod feddwol yn help mawr i iechyd a nerth. Ond pan oedd yn ffasiynol i'r meddygon ei hargymhell felly, a phan gredid gan rai mai lled brin y gallai neb fyw, llawer llai bod yn iach a chryf, hebddi, yr oeddym ni, a rhai myrddiynau gyda ni, yn ymgadw yn Nazareaid oddiwrthi o groth ein mam; ac yr oeddym tra yn gwneyd hyny nid yn unig yn fyw, ond hefyd yn iach a chryf a heinyf, ïe yn llawer mwy felly na'r lliaws oedd yn ddigon ehud i wrando ar y doctoriaid, ac yn enwedig ar eu blys eu hunain, yn argymhell y ddiod. Ond erbyn hyn nid oes nemawr feddyg gymaint ar ol mewn gwybodaeth o egwyddorion symlaf ei *brofession* fel ag i feddwl am berswadio neb i yfed diod feddwol er mwyn nerth. Ac mae yn dda genyf ddyweyd fod nifer mawr, bellach, o feddygon enwocaf y deyrnas na thybiant yn ormod ganddynt, trwy y wasg, mewn cymdeithasau dysgedig, ac ar esgynloriau yn lleoedd amlaf y bobl, ymdrechu eu goreu i wneyd i fyny am gamgymeriadau yr amser aeth heibio, trwy geisio perswadio pawb mai *heb* y ddiod feddwol y gallant obeithio sicrhâu iechyd a nerth. A chynifer o ffeithiau gwerthfawr sydd, erbyn hyn, yn dyfod â'r gwirionedd mawr hwn i olwg y deyrnas. Dro yn ol fe ennillwyd camp y byd ar y Tyne am rwyfo, a chan ddirwestwr. Tua'r un amser fe brofodd Dr. Carver ei hun yn brif anelwr, yn *champion marksman*, a thystiai nad allai wneyd fel y gwnaeth oni b'ai ei fod yn ddirwestwr. Yn wir, y mae ymron yn ddealledig erbyn hyn na wiw i neb feddwl am ymgais am wobr y Frenines yn Wimbledon am anelu, os na fydd yn ddirwestwr. Y mae Weston wedi curo y byd am gerdded, ac fe addefa unrhyw ddydd na allasai wneyd hyny oni buasai ei fod yn ddirwestwr. Y mae y *generals*, y cadfridogion mawrion, Syr Frederick Roberts, Syr Evelyn Wood, a Syr Garnet Wolseley, yn ddirwestwyr. Ac y mae fy nghyfaill parchus Syr Llewelyn yn fy sicrhâu,—ac ni wn am neb mwy cymhwys i roi barn ar y fath fater,—pe buasai Arglwydd Nelson a'r Duke of Wellington yn byw yn ein dyddiau ni, y buasent hwythau yn ddirwestwyr, gan eu bod felly ymron yn gwbl yn y dyddiau hyny. Ac am yr orchest filwrol fawr ag y mae ei chlod y dyddiau yma yn adsain dros y ddaear, cymeriad Tel-el-kebir, y mae hono wedi ei chyflawni ar egwyddorion dirwestol. Cyflenwad o dê a orchymynai Syr Garnet, yn awr Arglwydd Wolseley, i'r milwyr gymeryd gyda hwynt ar y *march* bythgofiadwy yn y plygain hwnw, ac ar dê y cymerwyd Tel-el-kebir. Beth a safai o flaen gwroniaid Havelock, y rhai oeddynt ddirwestwyr? Os mynech gael hyd i'r teithwyr goreu, ar dir ac ar fôr, yn eithafion oerni ac eithafion gwres, yr ydych i'w cael ymysg y dirwestwyr. Nid oes neb wedi gorfod gweithio yn galetach yn y deyrnas yma yn ddiweddar na rhai o'r *statesmen* enwog sydd yn gwneyd i fyny Lywodraeth ei Mawrhydi; ac eto fe addefai Mr. Childers a Syr Charles Dilke dro yn ol wrth Mr. Caine, yr aelod seneddol dros Scarborough, na fuasai yn bosibl iddynt allu gwneyd eu gwaith ond trwy lwyrymwrthod â'r ddiod feddwol. Dywedai yr Ysgrifenydd Cartrefol hefyd, Syr William Harcourt, rai misoedd yn ol, wrth ddirprwyaeth barchus oedd yn ymddangos o'i flaen, ei fod ef yn llwyrymwrthodwr ar dir iechyd. Ac fe ŵyr pawb fod Mr. Gladstone, y gweithiwr caletaf fe allai yn y byd, bob amser yn nesaf peth i lwyrymwrthodwr. Y mae pobpeth yn ein dysgu mai ar dir dirwest y mae y goreu o'r oll sydd yn gyrhaeddadwy mewn einioes i'w ennill genym; ac y mae hyn oll yn dangos nad oes genym, yn sicr, ddim i'w golli, ond pobpeth i'w ennill drwy ymrestru o dan ei baner.

A dyma yn ddiammheu yr unig dir y gallwn, wrth sefyll arno, ddiogelu ein dylanwad. Yn wir, y mae drwg diota a meddwdod y fath fel pe buasai galwad arnom i wneyd aberth, ac aberth mawr, er mwyn cadw eraill oddiwrtho, y buasai yn gywilydd i ni betruso am amrantiad. Yr ydym yn cofio am Un—ac mi obeithiaf ei fod yn anwyl genych!—na fu yn ormod ganddo aberthu pobpeth er ein mwyn ni. "Canys Crist nis boddhaodd ef ei hun." Yr ydym ninnau i fod wedi ein harfogi â'r un meddwl. Pe buasai dyfod yn ddirwestwyr yn aberth i ni, ni ddylasai fod yn ormod genym ei wneyd er diogelu ein plant, a'n cymydogion, a phawb ag y gallai y gofynir eu gwaed ar ein dwylaw, rhag perygl mor fawr. Ond y mae yn bur amlwg nad all fod yn aberth o gwbl. Fe dybiai yr hybarch Christmas Evans ei fod, pan yn dyfod yn ddirwestwr, yn aberthu ŷch i'r Arglwydd, yn ddigon siwr; ond erbyn iddo ddeall, nid ydoedd, meddai efe, ond llygoden ffrengig! Ac ni all fod yn aberth

i neb o honom ninnau. A chan mai trwy wneyd y gymwynas fwyaf, yn y mater hwn, i ni ein hunain, y gallwn hefyd wneyd y caredigrwydd mwyaf i'n hanwyliaid, i'n cymydogion, ac i'r byd o'n hamgylch, a betruswn ni am fynyd ddyfod allan, ddyfod allan oll, ac o un galon, "yn gynnorthwy i'r Arglwydd, yn gynnorthwy i'r Arglwydd yn erbyn y cedyrn?" Mi hyderaf na wnawn.

---

Wedi y cyfarfod uchod daeth i'n golwg erthygl ragorol yn y *Daily Telegraph*, yn yr hon y mawrheid y Llyngesydd Vernon, yr hwn pan mewn gwasanaeth yn India'r Gorllewin a archai i'r morwyr deneuo eu *rum* â dwfr, ac am ei fod yn gwisgo *grogram breeches* a elwid gan y dynion "*Old Grog*," ac oddiwrth yr enw hwnw arno ef y daeth *grog* yn enw ar y dogn o *rum* a roddir i'r morwyr eto. Ond canmolir ei gynghor gyda golwg ar ddyfrio y *rum*, fel y canmolir Nelson a Collingwood am y parch neillduol a dalent hwythau i gymedroldeb. Canmolir yn fawr hefyd waith Mr. John Burns, Cadeirydd y *Cunard Steamship Company*, am gyhoeddi "ar, ac ar ol y laf o Ragfyr, ni roddir *grog* na dim diodydd alcoholaidd i neb o forwyr y cwmni, ond rhoddir iddynt goffi yn lle hyny," heb unrhyw feirniadaeth amgen nag y buasai yn dda iddo roddi dewis iddynt ar dê yn lle coffi. Yn wir ni all lai na thori allan mewn brwdfrydedd i ofyn, "Gyda pha fath deimladau y buasai Father Matthew yn byw i weled y dydd pan mae y cwmni agerddlongau mwyaf yn y byd yn cyhoeddi na fydd iddo mwyach roddi allan ddim diod alcoholaidd i'w forwyr! Mae y croesgadiad maith y mae apostolion lwyrymwrthodiad wedi bod yn cario ymlaen yn erbyn ellyll y ddiod o'r diwedd yn dechre dwyn ffrwyth dymunol." Ond dymunem alw sylw darllenwyr y DRYSORFA yn neillduol at y paragraph a ganlyn o erthygl y *Daily Telegraph*:—

"Y mae, mae yn dda genym ddyweyd, lawer o brofion fod adweithiad cryf yn cymeryd lle yn erbyn defnyddio alcohol; ac i filwr yn hytrach nag i forwr y mae y cyfnewidiad hwn sydd yn myned ymlaen yn ein harferion cenedlaethol yn benaf yn ddyledus. Y mae yn hynod fod y Cadfridog Arglwydd Wolseley, er dechreuad ei yrfa, er heb wrthwynebu y gwydriad cymdeithasol mewn bywyd preifat, wedi bod yn wrthwynebydd penderfynol i roddiad allan wirodydd i fyddinoedd pan allan mewn gwasanaeth. Y mae *Soldier's Pocket Book* (o waith Wolseley) yn llawn o brofion fod ei awdwr enwog yn casâu alcohol. 'Rhoddwch i'ch dynion,' meddai, 'gàn lleied o wirod ag y fo yn bosibl; y mae tê a choffi yn llawer gwell at eu cynnal ac yn haws eu cario. Mae yr hen ofergoel fod *grog* yn beth da i ddynion cyn, yn ystod, neu ar ol *march*, wedi ei brofi gan wyddonwyr o'r holl genedloedd yn dwyll; ac ni fyntumir ef ond gan y rhai sydd yn camgymeryd gyrfa arferiad am lais Natur ei hunan. Nid oes dim mwy cyffredin na bod dynion yn cymeryd *brandy* i gadw eu hunain yn gynhes. Y mae yn ffaith brofedig fod alcohol o unrhyw fath yn darostwng yn hytrach nag yn codi ar dymheredd y corff.' Y mae Arglwydd Wolseley yn myned rhagddo i ddangos fod y meddygon oedd yn myned gyda yr ymgyrch Pegynol yn unfryd yn condemnio gwirod fel peth i gadw rhag anwyd. Nid oes unrhyw ddynion, fe sylwa, mewn anghen am fwy o allu i ddyoddef ac yn myned trwy lafur corfforol caletach na'r *lumbermen* yn Ngogledd America Brydeinig, ac eto eu diod gyson hwy ydyw tê. Fel rheol, ni roddwyd allan wirod erioed i'n byddinoedd yn Affrica Ddeheuol, a'r canlyniad ydoedd bod y dynion yn hynod rydd oddiwrth afiechyd. Yn ystod y Gwrthryfel Indiaidd fe amddifadid ein milwyr o ddiod weithiedig am fisoedd bwygilydd; ac yr oeddynt yn iachach nag wedi hyny pan roddid hi allan iddynt yn rheolaidd. Caletach gwaith ni wnaed erioed gan ddynion na chan y rhai a arweinid gan Colonel Wolseley—ei ymgyrch annibynol cyntaf—yn ystod y *Red River Expedition*. 'Ni roddid allan,' meddai, 'wirod o un math iddynt; ond byddent yn cael cymaint o dê da ag y allent yfed, ac yr oedd gwaeledd yn anadnabyddus yn eu plith.' Dengys Arglwydd Wolseley ei fod yn gorphwys ar yr *officers*, ac arnynt hwy yn unig, i gymmodi eu dynion â rhoddi heibio yr arferiad sydd wedi bod gyhyd gan ein byddinoedd, o ddefnyddio *rum*. 'Y mae yn hymbyg,' meddai, 'i swyddog bregethu i'w ddynion ynghylch yfed, ac yna myned i'w babell a bod yn llawen uwch ben ei botel *sherry*. Mae gwin gyda'r swyddogion yn dal lle *rum* gyda'r milwyr cyffredin; ac, er y gallai na wnelai y botel win ddim niwed i'r cyntaf, fe ddylai yn siriol fyned heb ei bleser pan yn gorfodi y rhai sydd dano i fyned heb yr eiddynt hwy. Fe ddylai y teimlad fod ei ymddygiad er lles y gwasanaeth wneyd i fyny yn gyflawn iddo am y diffyg.' Fe ellid rhoddi un engraifft arall o brofiad *General* Wolseley ei hunan. Yn ystod Rhyfel Cartrefol America, fe dalodd ymweliad â Byddin y *Confederates* yn Virginia; a daeth yn gydnabyddus â'i chadfridog dewr, General Robert E. Lee. Pan dorodd y rhyfel allan, yr oedd y Cadfridog Lee yn bedair ar ddeg a deugain oed—rhyw bum' mlynedd hŷn nag yw Arglwydd Wolseley yn awr, ac wyth mlynedd hŷn na Napoleon a Wellington pan gyfarfuasant yn Waterloo. Mae yn anhawdd synied am yr ymdrech yr oedd General Lee dani yn ystod y pedair blynedd hyny o ymrysonfa anghyfartal; ac eto, er yr ymborth truenus, o ba un y cydgyfranogai â'i ddynion, a dirwasgiad parhaus gelyn oedd yn ei or-rifo yn ol tri, pedwar, ac weithiau bump am un, ni ddarfu i'w iechyd corfforol arddercbog ddim ffaelu o'r dechreu i'r diwedd. Ni fyddai dim cryfach na choffi byth yn croesi ei wefusau; a'i hoff ddiod, pan gai afael arni, oedd llaeth enwyn."

Saul hefyd ymysg y prophwydi! Os ydyw y *Daily Telegraph* yn dyfod allan mor ryfeddol o gryf o blaid dirwest, ac yn dwyn y fath gorff o brawf i gondemnio y ddiod, a hyny ar yr unig dir ag y gallai neb ddyweyd gair o'i phlaid, pwy o ddarllenwyr parchus y DRYSORFA a ddylai fod ar ol?

### HOLIADAU AM ABERTH CRIST A'R IAWN.

At wasanaeth Cymanfaoedd Athrawon ac Athrawesau Ysgolion Sabbothol Dwyrain Meirionydd, y rhai a gynnelir yn haf 1883.

*Gan y Parch.* Dr. Edwards, *Bala.*

1. Rhoddwch hanes yr holl wasanaeth dan y gyfraith ar ddydd gŵyl y cymmod, a dangoswch fel yr oedd y cwbl yn gysgod o Grist.

2. Pa fodd y mae yr Epistol at yr Hebreaid yn dangos fod Crist yn rhagori ar Aaron, ac aberth Crist yn rhagori ar yr holl aberthau Iuddewig?

3. Dangoswch fod yr ymadrodd "haeddiant Crist" yn ysgrythyrol.

4. Pa beth oedd yn cyfansoddi yr haeddiant hwnw?

5. Gwahaniaethwch rhwng cariad Duw a'i gyfiawnder fel y maent i'w gweled yn holl drefn y prynedigaeth.

6. Rhoddwch arwyddocâd y geiriau canlynol, a dangoswch y gwahaniaeth a'r berthynas sydd rhyngddynt â'u gilydd: (1) Iawn. (2) Pridwerth. (3) Cymmod. (4) Pwrcas. (5) Pryniad.

7. Paham yr oedd yn rhaid i'r Mab gael ei eni o forwyn cyn y gallasai fod yn Iawn, gan y buasai yn bosibl iddo roddi ufudddod perffaith a marw pe wedi dyfod i'r byd fel Adda yn nghyflawnder ei faintioli?

8. A oes lle i dybied fod ymgnawdoliad y Mab yn anghenrheidiol yn annibynol ar drefn yr Iawn?

9. A oedd yr Iawn wedi ei fwriadu i gael argraff foesol ar y byd, ac felly i gadw trefn yn llywodraeth Duw wrth faddeu i'r troseddwr?

10. Pa beth yn ngwaith Duw yn anfon ei Fab, ac yn ngwaith y Mab yn marw, sydd yn tueddu i gynnyrchu yr argraff hwn?

11. A ydyw cyfiawnder yn sylfaenedig ar lywodraeth, neu lywodraeth yn sylfaenedig ar gyfiawnder?

12. Pa un gan hyny ai cyfiawnder yn tarddu o drefn llywodraeth, ai trefn llywodraeth yn tarddu o gyfiawnder, oedd yn gwneuthur yr Iawn yn anghenrheidiol?

13. Pa fodd y rhoddir mwyaf o le i gariad Duw yn yr Iawn? ai trwy ddyweyd y gallasai Duw faddeu heb Iawn, neu trwy ddal fod cyfiawnder yn gwneuthur yr Iawn yn anghenrheidiol er mwyn cael trefn i faddeu?

14. Dangoswch o'r Hen Destament a'r Newydd fod pechodau ei bobl yn gyfrifedig ar Grist, a'i fod Ef yn Bencynnrychiolwr iddynt, ac yn Feichiau drostynt.

15. Pa fodd y cysonwch y golygiad hwn â'r geiriau sydd yn dyweyd i Grist farw dros bawb, ac mai Efe yw yr Iawn dros bechodau yr holl fyd?

16. A ydyw y rhai y bu Crist farw drostynt yn euog eto hyd nes y credant? A pha fodd y mae yn gyfiawn i'r ddeddf eu gofyn yn eu personau eu hunain wedi cael Iawn drostynt mewn Meichiau?

17. Os ydynt yn euog, a ydynt yn euog o ryw bechod heblaw gwrthod Crist?

18. A fuasai grym yn eiriolaeth Crist heb yr Iawn, neu yn yr Iawn heb yr eiriolaeth?

19. A ydyw marwolaeth Crist wedi effeithio ar sefyllfa yr angylion? Rhoddwch brofion o'r Ysgrythyr.

20. Profwch mai yn rhinwedd yr Iawn y mae Crist Iesu yn llywodraethu y greadigaeth.

---

## Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### YR YSGRIFENYDDION.

Rhoddid yr enw Ysgrifenydd ar y dechre i'r neb a fyddai yn rhagori yn nefnyddiad yr ysgrifell; eithr am fod y cyfryw rai yn gyffredin yn gyfarwydd âg amrywiol ganghenau gwybodaeth, daeth y gair mewn amser i gael ei arfer am ddyn dysgedig. A chan, ymysg yr Iuddewon, yr ystyrid mai y ddysgeidiaeth benaf a rhagoraf oedd bod yn gyfarwydd yn nghynnwysiad llyfrau yr Ysgrythyr, yr oedd y gair yn arwyddo yn neillduol un oedd hyfforddus yn nghyfraith yr Arglwydd; un â'i orchwyl nid yn unig i ddarparu copïau cywir o'r gyfrol sanctaidd, ond hefyd i osod allan iawn ystyr yr hyn a ddysgid ynddi. Felly y gelwir Ezra yn "ysgrifenydd cyflym yn nghyfraith Moses;" a chawn frenin Persia yn ei alw yn "ysgrifenydd deddf Duw y nefoedd" Ezra vii. 6, 12). Yr ydym yn eu cael yn ddosbarth neillduedig: "tylwyth yr Ysgrifenyddion, y rhai a breswylient yn Jabes" (1 Cron. ii. 55). Yn amser ein Hiachawdwr cyfrifid hwy yn ddosbarth pwysig mewn cymdeithas. Yr oedd llawer o honynt yn perthyn i'r Sanhedrim, neu y prif gynghor; ac felly crybwyllir am danynt yn fynych yn y Testament Newydd gyda'r Henuriaid a'r Archoffeiriaid. Gelwir hwynt hefyd yn "Ddoctoriaid y gyfraith," ac yn "Gyfreithwyr;" enwau a roddid arnynt oddiwrth eu gwaith yn dysgu a deongli'r gyfraith. Desgrifir hwy "yn eistedd yn nghadair Moses" (Matt. xxiii. 2), am mai eu gwaith oedd egluro meddwl holl ysgrifeniadau Moses, yn gystal â'r eiddo yr ysgrifenwyr sanctaidd eraill; ac felly ymgynghorid â hwy ar bob achos o ammheuaeth ac ansicrwydd

ynghylch ystyr unrhyw ran o'r Ysgrythyr (Matt. ii. 4). Oddiyma y gwelwn briodoldeb y cwestiynau, "Paham gan hyny y mae yr Ysgrifenyddion yn dywedyd fod yn rhaid dyfod o Elias yn gyntaf? Pa fodd y dywed yr ysgrifenyddion fod Crist yn fab Dafydd?" (Matt. xvii. 10; Marc xii. 35). Yr oedd y bobl yn rhoddi pwys mawr ar eu barnau a'u syniadau hwy, ac yn talu parch arbenig iddynt. Mynent a charent hwy "y lle uchaf mewn gwleddoedd, a'r prif gadeiriau yn y synagogau" (Matt. xxiii. 6). Erbyn amser Crist yr oedd yr Ysgrifenyddion wedi myned yn nodedig am eu rhagrith a'u llygredigaeth, yn rhoddi mwy o bwys ar yr arddodiadau seremonïol na'r gorchymynion moesol, ac yn gosod ar y bobl lïaws o seremonïau nas gorchymynid yn neddf Moses (Matt. xv. 1—6; xxiii. 16—23). Er hyny yr oedd ambell Ysgrifenydd yn wahanol i'r corff mawr o honynt, ac heb fod ymhell o deyrnas Dduw (Marc xii. 28—34). Yn gyferbyniol i'r Ysgrifenyddion, yr oedd dysgeidiaeth ein Harglwydd, yn ei mater ac yn ei dull, yn dra gwahanol, ac yn rhagori yn annhraethol. Traddodiadau yr hynafiaid oedd ganddynt hwy; ond yr oedd efe "yn dysgu fel un âg awdurdod ganddo, ac nid fel yr Ysgrifenyddion." Digon o'i enau ef oedd, "Yr wyf fi yn dywedyd i chwi." Yr oeddynt hwy yn cyfyngu eu haddysg i'r rhai oedd yn nosbarth yr ysgoleigion; ond yr oedd efe yn tosturio wrth y torfeydd. Ni cheid mo honynt hwy ond yn y cynghor neu yn eu hysgolion, tra yr oedd efe yn myned o amgylch yr holl ddinasoedd a'r trefydd, gan ddysgu a phregethu efengyl y deyrnas. Dywedent hwy am deyrnas Dduw fel rhywbeth anmhenodol a phell; ond cyhoeddai efe ei bod wedi nesâu. Gellir nodi fod yr enw ynddo ei hun yn anrhydeddus; ac felly y mae ein Harglwydd yn arfer y gair am weinidog cymhwys yr efengyl: "Pob Ysgrifenydd wedi ei ddysgu i deyrnas nefoedd sydd debyg i ddyn o berchen tŷ, yr hwn sydd yn dwyn allan o'i drysor bethau newydd a hen."

---

JOB xlii. 10: "Yna yr Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Job, pan weddïodd efe dros ei gyfeillion."

YMA darlunir cyflwr cystuddiol Job fel cyflwr o gaethiwed neu garchariad. Felly yr oedd Job yn llefaru am dano ei hun: "Ai môr ydwyf, neu forfil, gan dy fod yn gosod cadwraeth arnaf? Yr ydwyt yn gosod fy nhraed mewn cyffion." A dyma ei adferiad i gysur a hawddfyd yn cael ei osod allan yn ddychwelyd neu droi yn ol ei gaethiwed gan Dduw; yr oedd yn debyg i ddwyn un o gaethiwed trwm i ryddid hyfryd.

Ond pa bryd y dychwelwyd ei gaethiwed? Ai pan yr oedd efe yn galaru yn chwerwder ei enaid, ac yn melldithio dydd ei enedigaeth? neu, pan yr oedd efe yn gosod allan gyda'r fath hyawdledd cynhyrfiol waelder dyn a aned o wraig, sydd fyr o ddyddiau, a llawn o helbul, ac a gilia fel cysgod, ac ni saif? neu, Ai pan yn ymhyfhâu oddiar ei ing y dywedodd wrth yr Hollalluog, "Gwna i mi wybod paham yr ymrysoni â mi?" Nage; nid mewn canlyniad i'w alar, nac i'w hyawdledd, nac i'w deimlad diobaith, y daeth ei adferiad; ond, "yr Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Job pan weddïodd efe." Mae gweddi yn anrhydeddu Duw, a Duw yn anrhydeddu gweddi. Mae gan weddi law fawr yn holl waredigaethau pobl yr Arglwydd. Ac am ba beth yr oedd Job yma yn gweddïo? Ai am ymwared iddo ei hun—am i faich gorlethol ei gystuddiau gael ei symud, ei olud ddyfod yn ol iddo, ac anrhaith ei adfyd ei newid am adeiladaeth hawddfyd? Nage ddim; "yr Arglwydd a ddychwelodd gaethiwed Job, pan weddïodd efe dros ei gyfeillion;" y cyfeillion na wnaethant ran cyfeillgarwch âg ef, ond a fuont yn eithaf annhirion wrtho. Pan yn garuaidd y gweddïodd efe drostynt hwy a ymddangosent yn angharuaidd iawn ato ef, wele y Duw sydd yn caru maddeu yn rhoddi iddo y fendith sydd yn cyfoethogi, yn ei gyfodi o iselder i uchelder, ac yn troi ei alar yn llawenydd.

---

RHUFEINIAID viii. 15: "Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; eithr derbyniasoch Ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad."

YR ydym yn cael lïaws o esbonwyr yn cysylltu y gorair *drachefn* â'r ferf *derbyniasoch*, ac felly yn arwyddo fod y credinwyr yn ysgrifenir yma atynt wedi derbyn yr "ysbryd caethiwed" yn flaenorol, a hyny gan Dduw ei hun. Oddiyma cymhwysir yr "ysbryd caethiwed" yn gyffredin at oruchwyliaeth cyfraith Moses, megys y ceir yn Galat. iv. 25: "mynydd Sinai yn cenedlu i gaethiwed;" ofn caethiwus dan euogrwydd yn rhagddarogan cosbedigaeth. Ond dylid cysylltu y *drachefn* hwn, medd Godet, nid at dderbyn oddiwrth Dduw, ond at yr *ofn* y cyfeirir ato; a'r meddwl yw, "Am yr Ysbryd a dderbyniasoch oddiwrth Dduw, nid ysbryd caethwasaidd ydyw yn eich taflu yn ol i'r ofn yr oeddech ynddo gynt;" nid annhebyg i eiriau Paul wrth Timotheus, "Canys ni roddes Duw i ni ysbryd ofn, ond ysbryd nerth, cariad, a phwyll." Nid yr ofn

sydd gyfaddas i gyflwr slâf, ond y rhyddid a'r hyder sydd yn gweddu i fab at ei dad, yw y teimlad â pha un y mae Ysbryd Duw yn llanw calon credadyn. Y syniad anhyfryd o ofn y duwiau oedd prif nodwedd crefyddau'r paganiaid; ond y syniad mabaidd sydd yn nodweddu crefydd yr efengyl. Yr "Ysbryd mabwysiad" yw yr Ysbryd Glân, fel Ysbryd Mab Duw, yn cynnyrchu y cariad a'r ymddiried cyfaddas i faboliaeth cristion. Mae'r gair *mabwysiad* ynddo ei hun yn ein hadgofio mai Iesu Grist yn unig sydd yn Fab Duw o ran hanfod; efe yw yr "uniganedig Fab;" a chredu yn ei enw ef yw yr hyn â'n cyfyd ni yn feibion i Dduw (Ioan i. 12). "Mabwysiad trwy Iesu Gris" yw cyflwr mabaidd duwiolion (Ephes. i. 5).

# Barddoniaeth.

## CARIAD CRIST AT EI BOBL.

HUNAN ymgynhyrfiol gariad,
Annechreuol oedd erioed,
At wrthddrychau duon damniol,
Dafiodd diafol dan ei droed;
Rhoddodd Ddwyfol waed ei galon,
Rhodd ei hun, anfeidrol Ior!
Daeth o'i wirfodd i waredu,
Torf ddirif fel tywod môr.

Rhyfedd oedd gwel'd haul y nefoedd
Wedi aros diwrnod hir,
A'r llawn loer o'i lle heb syflyd,
Nes i Israel goncro 'n glir;
Mil mwy rhyfedd gweled Crëwr
Goleuadau mawrion nef,
O dan hoelion draed a dwylaw,
Yn concwerio uffern gref.

Dryllio rhydlyd folltau 'r carchar
Tywyll lle y taflwyd dyn,
A rhoi iawn i'r ddeddf oruchaf,
Trwy ei aberth mawr ei hun:
Bellach tori 'r llyffetheiriau,
Ymhob oes mae Ysbryd Duw;
Mil myrdd meirwon codwm Eden,
Trwy ei haeddiant sy 'n cael byw.

Cariad megys fflam angerddol
Losgodd rwystrau fwy na rhi'
Gwrddodd Gymwynaswr goreu,
Dynion ar ein daear ni;
Cariad sydd yn para 'n wastad,
At ei bobl er pob bai,
Anffyddlonaf wrthgiliadau,—
Môr y cariad sydd heb drai.

Mae 'n eu dwyn yn ôl o Basan,
Megys bugail mwyn ei braidd,
Fu 'n ymboeni ymhob dyrysni,
A pheryglon, llew, a blaidd;
Gwelir diwedd pob sylweddau
Cryfaf fedd y Cread mawr;
Byth ni welir haul-fachludiad
Cariad Crist at lwch y llawr.

Pan y gall y gragen fechan
Gynnwys dwfr y moroedd mawr,
Neu aderyn symud ymaith
Dir a dyfroedd daear lawr,
Ac y medr meddwl meidrol,
Gyflawn ddirnad Hanfod Duw,
Dyna 'r pryd mesurir mawredd,
Cariad Crist at ddynolryw.

JOHN HUGHES.

*Trefelin Cottage, gerllaw Bangor.*

## "PA RAGORIAETH YR YDYCH CHWI YN EI WNEUTHUR?"

*Ychydig linellau a gyplyswyd wedi gwrando pregeth ar y geiriau uchod yn nghapel Victoria, Liverpool.*

Y SAWL wnêl garu gelyn,
Diau da ydyw y dyn;
Rhoi bendith am felldithion,
Dwys y gamp yw y dasg hon.
Pan bydd gelyn i'r dyn da,
A'i elyn ni chweryla:
Pan caiff o darawo 'i rûdd
I'w heriwr try ei ddwyrudd.
Ei ymgais ef am gashâd
A geir, defnyddio 'i gariad;
Yn wir ni chythruddir o,
Mae 'n dda, ac nis myn ddigio.
Nid dyn nwydwyllt iawn ydyw—
Addfwyn iawn addefwn yw;
Un pell oddiwrth ddichell ddu—
Hwn a ochel fradychu.
Awdwr o gamp nid yw 'r gŵr
Yn egr iaith y rhagrithiwr;
Nodaf, diabsen ydyw;
Cyfa 'n ei "air mewn cefn" yw;
Nid yw 'n chwannog i ogan,
Taena glôd o enau glân;
Rhagora, fel gŵr geirwir,
Yn y gamp o dd'weyd y gwir;
Mewn ffordd ffôl ni cheir dolef
Y duwiol ŵr—ni chŵyd lef;
Nid o'i fodd y daw i fysg,
Tyrfa yn hoffi terfysg.
Cynta' un yn caniatâu
Elusen lle gwel eisiau;
O gariad at gardotyn
Rhydd ymborth o'i dorth i'r dyn.
Ni ddial ef, ni ddeil wg,
Ei galon sy 'n y golwg.
A wnêl mewn dirgel, ŵr da,
Yn gyhoeddus agwedda.
Ei eiriau ni lygra neb,
Daw iaith hwn mewn doethineb;
Hwn ni thwng mewn iaith anghall,
Ni ŵyr fyth at eiriau 'r fall;
Llawn o barch ei ddull yn byw,
Gweddus-drwsiadus ydyw;
Hwn gawn yn unplyg wyneb,
Un na wenieithia i neb.
Oi ä hwn i ddwrdio neb
Hyny wna yn ei wyneb;
Treulio 'i fywyd i gyd gâr
Mewn osgo cymwynasgar.
Gwadaf mai diog ydyw
Efe 'r sant—llafurus yw.

Unfodd a phe 'n hunan-feistr
Yw efe yn nghefn ei feistr.
Ni cheir ef byth a hefyd
Yn rhoi y bai ar y byd;
Ni all hwn roi llŵ annoeth,
Ond ïe a nage noeth;
Heb fwynhâu geiriau gorwag—
Yn rhy bur i garu 'r gwâg;
Dyn gonest iawn, o gynneddf
Gwrthwyneb i dori deddf.
Nid yw yn gwneyd duw o'i aur,
Ni folianna felynaur.
Wrth brynu a gwerthu, 'r gŵr
Sai 'n uchel fel masnachwr.

Un yw â chlorian gywir,
A thaena ef lathen hir;
Ac yn ddilys, erys o
Heb ei ddal yn cribddeilio.

* * * * * *

Os rhaid dyoddef dros grefydd,
Gwna hyny, os felly fydd;
Gwna ef mae 'r nef yn ofyn,
Ofni Duw yn fwy na dyn.

WILLIAM GRIFFITH
*(Gwilym Lerpwl).*

# Bwrdd y Golygydd.

## TROEDIGAETH HYNOD ANFFYDDIWR YN FFRAINC.

Rosporden, Finisterè,
Tachwedd 9fed, 1882.

ANWYL GYFAILL,

Yr wyf newydd ddarllen llyfryn bychan yn yr iaith Ffrancaeg, a elwir gan yr awdwr "*La question religieuse et la solution Protestante,*" neu, y "Wedd Brotestanaidd ar y cwestiwn Crefyddol." Ysgrifenwyd ef oddeutu pum' mlynedd yn ol, pan yr oedd yr awdwr, fel y dywed ef ei hun, yn "rhyddfeddyliwr" (yr enw dewisol gan y blaid anffyddol). Ond yr oedd efe yn wahanol i'r rhan fwyaf o'i frodyr. Yr oedd, fel y dywed yn ei ragarweiniad i'w lyfr, yn teimlo awydd cryf i gredu gwirioneddau yr efengyl. Amcan y llyfr ydyw dangos y camgymeriad a wneir gan fwyafrif y blaid werinol yn Ffrainc, drwy geisio gwneyd i ffwrdd â chrefydd yn gyfangwbl. Dengys fel y mae y syniad o'r goruwchnaturiol yn dylanwadu ar bob cenedl ymhob oes, a bod holl genedloedd y ddaear yn addoli rhyw fôd goruwchnaturiol; a chan hyny annogai ei gyfeillion i roddi i fyny y syniad o geisio dinystrio y teimlad crefyddol, ond i gymeryd mantais arno a dewis y ffurf oreu sydd yn eu gafael, ffurf sydd yn cymeradwyo ei hun i reswm a chydwybod dyn, a hyny yw y ffurf Brotestanaidd. Amcan politicaidd sydd i'r llyfr ac nid amcan crefyddol; ond dengys ei fod wedi rhoddi cryn ystyriaeth i'r cwestiwn, a'i fod o ddifrif yn dymuno credu ond yn methu. Fy amcan yn ysgrifenu y tro hwn ydyw rhoddi hanes tröedigaeth y dyn ieuanc hwn ymhen pedwar mis ar ol iddo ysgrifenu ei lyfr. Cefais yr hanes yn ysgrifenedig gan Mr. Berthe o Brest; ac yr oedd i mi mor darawiadol fel y teimlais hefyd awydd ei roddi i eraill, gan ei fod yn dwyn ger ein bron mor amlwg ddylanwad Ysbryd yr Arglwydd yn nhröedigaeth pechadur,—gwirionedd ag yr ydym yn rhy dueddol i'w anghofio.

Un bore Sabboth yn Gorphenaf 1878, ar ol i'r gweinidog bregethu ar weledigaeth Stephan, a'r gwroldeb oedd yn ei ddangos hyd yn nôd o dan y gawod geryg, dyna ddyn ieuanc yn codi, ac yn cyfeirio ei gamrau tuag at y pregethwr ac yn gofyn iddo a gawsai yntau ganiatâd i "ddwyn tystiolaeth i'r Ysbryd Glân." Nis gwyddai y gweinidog yn iawn pa beth i wneyd; oblegid yr oedd y dyn ieuanc yn adnabyddus o ran ei dueddiadau anffyddol, ac oblegid ei allu a'i ddysg yn sefyll yn uchel ymysg y blaid hono. Ond wedi clywed y gair a ddywedodd, penderfynodd roddi caniatâd iddo. Ac aeth y dyn ieuanc ymlaen fel y canlyn,—

"Fy mrodyr, yr wyf finnau yn dymuno dwyn tystiolaeth o'r Ysbryd Glân, ac uno, gyda'n gweinidog, i dystiolaethu fod byd ysbrydol, anweledig a goruwchnaturiol, nad ellir ei deimlo drwy y synwyrau naturiol, ond a brofir drwy ffydd a gras o'r nef. Neithiwyr rhyngodd bodd i'r Ysbryd Glân ddadguddio ei hun i mi, a rhoddi i mi y bedydd ysbrydol, drwy yr hwn, yn ol addewid yr ysgrythyr, y gwneir ni yn blant i'r Tad ac yn gydetifeddion âg Iesu Grist. Drwy y bedydd hwn, cefais fy ngeni oddiuchod, a rhoddais heibio yr hen ddyn ynghyd a'i wyniau a'i chwantau. Yr wyf erbyn hyn yn brofiadol o ras, gallu, a chariad Duw. Yr wyf wedi cael mynediad i mewn i eglwys anweledig Crist. Yr wyf wedi fy argyhoeddi. Yr wyf wedi fy achub.

"Myfi oedd y mwyaf annheilwng o holl blant pechod a'r byd, a phan yr wyf yn taflu cipdrem ar fy mywyd yn y gorphenol, mor llygredig ac anmhur, yr wyf yn rhyfeddu fod Duw wedi gweled yn dda fy newis i i fod yn deml i'r Ysbryd Glân. O'r blaen nid oedd ynof ond dymuniad egwan am fod yn dda, a theimlad byw o'm trueni, ynghyd ag awydd gwan am ddyfod i heddwch â Duw, a mwynhâu ei ffafr. Yr wyf, er hyny, yn cofio i mi ychydig ddyddiau yn ol ddymuno ar Dduw mewn gweddi roddi i mi ddawn yr Ysbryd Glân. Yr wyf wedi cael fy ateb ganwaith yn fwy helaeth nag y meiddiwn obeithio.

"Cysgais neithiwyr yn nghanol syniadau bydol, ac nid wyf yn cofio i mi unwaith yn ystod y dydd ddyrchafu fy nghalon at Dduw mewn gweddi. Ond yn nghanol y nos cefais freuddwyd. Yr oeddwn yn meddwl fy mod yn ymddadleu â boneddiges oedd yn Babyddes, yr hon a ddywedai wrthyf, 'Nid yw eich crefydd chwi yn grefydd o gwbl; nid ydych chwi yn credu dim' (gan gyfeirio at y Protestaniaid). 'Beth! nid ydym ni yn credu dim!" meddwn eto mewn breuddwyd; 'i'r gwrthwyneb, y mae ein credo ni yr un â'ch eiddo chwithau,' ac yna aethum yn fy mlaen i adrodd Credo yr Apostolion. 'Credaf yn Nuw Dad Hollgyfoethog, Creawdwr nef a daear, ac yn Iesu Grist, ei un Mab ef, &c.' Aethum yn fy mlaen felly yn fy mreuddwyd, gan wneyd ymdrech weithiau i gofio y geiriau; ac yr oedd fy argyhoeddiad o'u gwirionedd yn cryfhâu fel yr oeddwn yn myned yn fy mlaen, ac yn y diwedd daethum at y rhan hono 'oddiyno y daw i farnu byw a meirw,' pan yr oedd yn ymddangos i mi fel pe buasai y ddaear yn crynu, y gagendor yn agor, y ser yn syrthio, a'r dydd diweddaf wedi dyfod. Yr oedd yr argraff am

foment yn ofnadwy; yr oeddwn yn dysgwyl cael fy llyncu i fyny yn y rhyferthwy, pan gofiais y rhan o'r credo oeddwn newydd adrodd, 'Credaf yn yr Ysbryd Glân;' a'r foment hono teimlais fy hun yn cael fy nghodi o'r llynclyn, a'r Ysbryd Glân yn cymeryd meddiant o honof. 'Cadwedig!' meddwn wrthyf fy hun, gan ailadrodd y gair, fel pe er mwyn sicrhâu fy hun o'm cadwedigaeth. Yr wyf yn credu, ydwyf! yr ydwyf yn credu yn yr Ysbryd Glân.

"Ac o'r foment hono yr oeddwn yn sicr nad oeddwn bellach yn breuddwydio. Yr oedd fy mhrofiad o bob peth y fath, fel yr oedd yn ymddangos i mi fel rhyw swyngyfaredd. Yr oeddwn eilwaith ac eilwaith yn gosod fy mys ar fy ngarddwrn, er mwyn gweled a oedd y gwaed yn curo fel arfer, ac o'r diwedd perswadiais fy hun fy mod yn effro ac mewn llawn feddiant o'm synwyrau. Gwelwn fy mod yn fy ystafell, a bod pob peth fel arfer, a bod goleuni y wawr yn ymdori, ac yn dechreu dyfod i fewn drwy y ffenestr.

"Fel yr oeddwn yn ailadrodd o dan ddylanwad y breuddwyd a'r weledigaeth, Credaf—credaf yn yr Ysbryd Glân, yr oedd fy holl enaid yn cael ei lenwi â rhyw brofiad neillduol o felus. Yr oeddwn bellach yn llawn hyder fod yr Ysbryd Glân wedi fy meddiannu. Yr oeddwn yn meddu rhyw brofiad o hapusrwydd perffaith, ac argyhoeddiad byw o anfeidroldeb cariad Duw. Adroddais drosodd drachefn Gredo yr Apostolion; ac yr oedd rhyw feddwl newydd i'r oll, a phob cymmal yn ymddangos yn meddu ynddo ei hun brawf o'i wirionedd. Yr oedd fy mhrofiad yn annesgrifiadwy o felus; yr oeddwn wedi fy llenwi â chariad Dwyfol, fel nad yw o un dyben i mi geisio traethu mewn geiriau yr hapusrwedd yr oeddwn yn ei brofi.

"Yr oedd yn ddyledswydd arnaf roddi i chwi, aelodau o'r eglwys hon, yr amlygiad cyntaf o'm ffydd fywiol ond newydd-anedig. 'Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da.' Y mae Crist wedi ymddangos i'n prynu a'n gwaredu, dwyn pwys ein pechodau arno ei hun, a bod yn Iawn i Dduw drosom ni. Y mae Crist yn tevrnasu ac yn cymdeithasu â ni drwy yr Ysbryd Glân. Meddianner ni gan gariad at yr Arglwydd Iesu, ac at Dduw Dad. Bydded i'r Arglwydd ddwyn ymlaen ei waith ynom, a'n llenwi â'r Ysbryd Glân, fel y byddom yn meddu tangnefedd a chymdeithas yr Ysbryd, llawenydd calon, a sicrwydd bywyd tragywyddol."

Y dyn ieuanc yna oedd Eugené Reveillaud, yr hwn oedd ar y pryd yn olygydd ar bapyr politicaidd, ac, fel y dywed ef ei hun, oedd hyd yr adeg yna yn methu credu, er yn dymuno gwneyd hyny. A gellir dychymygu y dylanwad a gafodd cyffes o'r fath ar y gynnulleidfa, gan fod ei syniadau blaenorol ar byncian crefyddol yn hollol adnabyddus iddynt. Dengys fel y mae yr Arglwydd yn sylwi ar onestrwydd a chydwybodolrwydd, ac yn arwain i'r gwirionedd y rhai sydd o ddifrif. Mab ydoedd efe i ysgolfeistr cyffredin o ran amgylchiadau, a gwnaed a allid i'w berswadio i fyned yn offeiriad Eglwys Rhufain; ond yr oedd efe yn dewis astudio y gyfraith fel ag i fod yn gyfreithiwr. Eithr newidiodd ei feddwl a rhoddodd ei alluoedd at wasanaeth y wasg. Ar ol y tröedigaeth rhyfedd a gafodd, cychwynodd bapyr crefyddol, "Y *Signal*," yr hwn a olygir ganddo; ac y mae er y pryd hwnw wedi bod yn un o golofnau y gwirionedd yn ngwyneb ymosodiadau Eglwys Rhufain a'r anffyddwyr. Yn ddiweddar ymwelodd â'r Waldensiaid sydd wedi ymsefydlu yn Algiers, Gogledd Africa. Rhoddwyd hèr iddo gan nifer o anffyddwyr; derbyniodd eu cynnygiad, a llwyddodd i'w dyrysu yn llwyr, yn ol cyfaddefiad rhai o honynt hwy eu hunain. Nid yw eto ond oddeutu deuddeg ar hugain oed; ac os caiff fywyd, y mae yn ddiammheu y gwnaiff wasanaeth mawr i Brotestaniaeth yn Ffrainc, fel llestr dewisedig i'r Arglwydd Iesu, megys yr oedd yr Apostol Paul, ac un y mae ei dröedigaeth mor debyg i eiddo Apostol mawr y Cenedloedd.—Ydwyf, &c.,

W. Jenkyn Jones.

---

YSWIRIANT MEDDIANNAU Y METHODISTIAID CALFINAIDD FEL CYFUNDEB.

Dymunwn osod ger bron ein Cyfundeb y priodoldeb, ïe, a'r dymunoldeb, i ymffurfio yn Gymdeithas Yswiriol—*(Insurance Company)*—ar feddiannau y Cyfundeb yn unig.

Pan ddygais yr achos hwn o flaen ein Cyfarfod Misol yn Rhosllanerchrugog yn mis Tachwedd diweddaf, nis gwyddwn fod y peth wedi cael ei ddwyn i sylw y cyhoedd o'r blaen trwy y wasg. Ac yn awr wele Mr. Fraser, Froghall, aelod o Gyfarfod Misol Sir Fflint fel finnau, yn dwyn hyn ger bron yn Nhrysorfa Rhagfyr, 1882. Gallaf sicrhâu fod y mater hwn wedi bod laweroedd o weithiau drwy fy meddwl i er ys blynyddoedd lawer. Mi fum yn *agent* am amryw flynyddau i Gymdeithas Yswiriol; a mynych y byddwn yn teimlo yn ofidus ar y pryd, na buasai rhywun o'n plith ein hunain yn dwyn hyn ger bron y Cyfundeb, ac yn ein cymhell i ymffurfio fel Cyfundeb yn Gymdeithas Yswiriol, yn lle ein bod yn talu ein harian wrth yr ugeiniau a'r cannoedd o bunnoedd i estroniaid, na cheir ceiniog o honynt byth yn ol.

Cofier mai yswiriant *meddiannau* y Cyfundeb yn unig sydd mewn golwg wrth ddywedyd fel hyn, ac nid yswiriant bywydau. Beth pe buasem wedi yswirio ein meddiannau er ys ugain mlynedd? buasai genym erbyn hyn rai miloedd o bunnau wrth law at gyfarfod â holl alwadau achlysurol ein Cyfundeb, neu, i gyfarfod â galwadau taerion o'r lleoedd gweiniaid, &c. Na feddylied neb mai peth anmhosibl neu anhawdd yw hyn. Na, un o'r pethau hawddaf mewn cymhariaeth ydyw, yn enwedig os ystyriwn pa ffrwyth fydd iddo. Mae meddiannau y Cyfundeb yn ol y daflen argraffedig, ac a hysbysir yn *Nghylchlythyr* diweddaf y Gymanfa Gyffredinol, yn £1,100,000. Ond hysbysir yn y *Cylchlythyr* nad yw y cyfrif hwnw yn gyflawn. Wrth edrych dros gyfrif Sir Fflint yn unig, mae yma oddeutu saith mil o bunnau o'n gwerth heb fod i mewn yn y cyfrif uchod; a dichon y gallai siroedd eraill fod yn debyg. Cofier mai nid ar ein cyfaill ffyddlawn Mr. Roberts y mae y bai na buasai y daflen yn gyflawn. Felly gwerth presennol ein meddiannau, yn ol y *Cylchlythyr*, yw £1,100,000. Cymerwn *hanner* hyn yn perthyn i gylch Cymdeithasfa y Gogledd—sef £550,000. Ond gallem ychwanegu saith mil o bunnau o Sir Fflint yn unig. Eithr â chymeryd cyfrif y *Cylchlythyr* fel y mae, byddai genym i ddechre y swm o £550,000 yn ol dau swllt y

cant o daliad blynyddol. Dyma swm a ellid ei gael i mewn yn daliad blynyddol mewn ychydig fisoedd; yn yr un ffordd ag yr ydym yn casglu pob arian Cyfundebol, heb ddim costau o gwbl o'r bron. Gellid cario yr holl orchwylion ymlaen gydag un swyddog o Ysgrifenydd, a sefydlu rhyw ariandŷ parchus yn Drysorydd i'r achos. Mae yn perthyn o fewn cylch Cymdeithasfa y Gogledd ddeuddeg Cyfarfod Misol; a byddai dewis un o bob Cyfarfod Misol yn ddigon tuag at ffurfio Bwrdd i arolygu yr holl waith o bryd i bryd. Dyweder, chwech i fod am ddeunaw mis, a chwech am ddwy flynedd, a dewis chwech at y rhai hyn ymhen y deunaw mis, yna dewis chwech bob dwy flynedd, felly ni byddent *oll* yn newydd yr un amser.

Dyma fraslun o'r Gymdeithas y carem, er mwyn ein Cyfundeb, ei gweled wedi ei ffurfio ac yn ei gwaith. Mae yn dda genyf allu hysbysu fod pob *man of business* y bum yn ymddyddan â hwynt yn mawr gymeradwyo yr amcan, ïe heb un eithriad—pob un yn barod i *endorsio* y symudiad, ac yn gobeithio y mabwysiedir ef gan y Cyfundeb, am y byddai o les annhraethol i ni. Gadawaf ar hyn yn bresennol.—Yr eiddoch, &c.,

EVAN LLOYD.

*Treffynnon,*
*Rhagfyr 1af,* 1882.

---

SWPER YR ARGLWYDD.

*At Olygydd y* DRYSORFA.

BARCHEDIG SYR,—Yn y dyddiau hyn, gyda llawer o bethau cysylltiedig â chrefydd, y mae amrywiaeth wedi ei yru i eithafion. Gyda rhai pethau y mae amrywiaeth yn burion, ac yn ddymunol; ond gyda phethau y cysegr, y mae yn fwy gweddus a mawreddus fod y trefniadau i fesur yn unffurfiol.

Gyda chyfranu yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd, y mae yn well genyf fi unffurfiaeth. Nid oes ynof fi unrhyw awydd i efelychu enwadau eraill; ond yr wyf yn meddwl y dylai eglwysi y Cyfundeb efelychu eu gilydd. "Wel ïe," ebe rhyw un, "pwy sydd i fod yn gynllun i'w efelychu?" Byddai yn burion i'r Gymdeithasfa ateb cwestiwn fel yna.

Hyd yr wyf fi wedi sylwi, dyma fel y gwneir:—Cymer un gweinidog y bara a'r gwin ei hunan cyn eu rhoddi i neb arall—gweinidog arall yn cymeryd y bara ei hunan, ac wedi hyny ei roddi i'r blaenoriaid; ar ol hyny efe yn cymeryd y gwin ei hunan, ac yna yn ei roddi i'r blaenoriaid, ac ar ol hyny yn myned â'r bara oddiamgylch i'r aelodau, ac yna y gwin,—a thrydydd gweinidog yn cymeryd y bara ei hunan a'i roi i bawb eraill, ac wedi hyny yr un modd gyda'r gwin. Ambell i waith y mae y gwahanol drefniadau wedi peri diffyg dealltwriaeth rhwng y gweinidog a'r blaenoriaid.

Dywedodd un hen weinidog parchus wrth roi y Cynghor i frodyr oeddynt yn cael eu hordeinio, "Gofalwch na fydd i *ddignity* yr ordinhâd gael ei ddarostwng genych chwi wrth ei gweinyddu."

Y mae cymuno y sisrad, cymuno y canu, a chymuno dystaw. Pa un yw y ffordd oreu? Os bydd y gweinidog â'i ysbryd yn wresog wrth weinyddu, yna wrth iddo lefaru pan yn myned oddiamgylch, y ceir mwyaf o flâs ar y cymundeb. Ac fel hyn hefyd y mae yn fwyaf tebyg i wlêdd. Y mae eistedd mewn dystawrwydd i dderbyn y bara a'r gwin yn arwydd o alar yn hytrach na gorfoledd. Gorfoledd sydd i fod mewn gwlêdd, ac y mae pob peth croes i orfoledd yn tynu oddiwrth fwynhâd y wlêdd.

Dywedir fod dystawrwydd yn fwy manteisiol i fyfyrio ar angeu Iesu Grist. Fy mhrofiad i yw, fod dystawrwydd yn anfantais fawr i mi, oblegid y bydd yn arwain fy meddwl ar grwydr.

A'r peth olaf ar hyn: gwell genyf fi i'r gweinidog ei hun gyfranu yr holl elfenau.

J. DAVIES.

*Salford.*

---

# Adolygiad y Wasg.

PREGETHAU Y DIWEDDAR BARCH. EDWARD MORGAN, *Dyffryn.* Yr Ail Gyfrol.

Dolgellau: D. H. Jones, Argraffydd a Chyhoeddydd.

Y MAE nifer o flynyddoedd weithian wedi myned heibio er pan y rhoisom adolygiad, a hyny ar ddwywaith, ar y Gyfrol Gyntaf o bregethau y pregethwr rhyfedd a phenigamp o Ddyffryn Ardudwy. Dywedem, os ydym yn iawn gofio, fod yr oll o'r pregethau hyny yn "aur, arian, meini gwerthfawr," y cyfan o'i gaboliad cywreinwych ef ei hun, ac heb ddim "gwair a sofl." Ac am bregethau yr Ail Gyfrol sydd ger ein bron, gwelir mai gwir yw tystiolaeth y Parch. Dr. Thomas, yr hwn yn deilwng a olygodd y gyfrol hon fel y gyntaf. Efe a ddywed yn y Rhagymadrodd,—"Fe geir fod y pregethau a gynnwysir ynddi yn arddangos yr un dysgleirni meddwl, yr un bywiogrwydd dychymyg, yr un coethder archwaeth, yr un tynerwch teimlad, yr un ysbryd haelfrydig, yr un efengyleidd-dra athrawiaeth, yr un nerth hyawdledd, a'r un amcan amlwg i gydio yn y galon a'r gydwybod, ag sydd yn nodweddu y rhai a gawn yn y gyfrol flaenorol; ac y mae rhai o honynt, os nad wyf yn camgymeryd, yn hytrach yn rhagori ar odid un o'r rhai a geir yn hono."

Ceid tyrfäoedd yn wastad yn ymgynnull i wrandaw ar Mr. Morgan yn pregethu; a'i wrandaw yn foddhäol ac yn astud y

byddai pawb; a galar i filoedd, pan glywsant am ei ymadawiad, oedd meddwl na chaent ei weled na'i glywed ef mwy. Ond dyma ei bregethau i'w cael eto yn eu hardderchogrwydd a'u blâs, ac i'w cael yn arosol a pharhâus, ac nid am ryw awr megys pan eu traddodid gan enau y pregethwr. Yn ddiau, gan hyny, gellir dysgwyl am dderbyniad helaeth i'r gyfrol hon, a darlleniad mawr arni. Byddai llygad craff a meddwl bywiog ein cyfaill ymadawedig yn cael defnyddiau eglurhäol ac addysgiadol ymhob man, ac oddiwrth bob peth; yr oedd yr Ysgrythyr iddo fel yn ddysg naturiol, a natur yn faes ysgrythyrol, ac oddiar hyny yr oedd ei holl bregethau yn gyflawn o brydferthwch a grym ac effeithiolder. Nid oes yr un tudalen yn y gyfrol hon o ba un nas gallwn ddyfynnodi sylwadau arbenig a tharawgar iawn; ac nid am eu rhagoriaeth ar yr holl nodiadau eraill sydd o'n blaen yr ydym yn estyn y rhai canlynol i'n darllenwyr, ond fel ychydig dameidiau i arddangos ansawdd y wlêdd archwaethus a gâut yn yr holl bregethau.

"Gellid meddwl fod llawer iawn o'r gwlaw yn myned yn ofer, oblegid fod cymaint o hono yn disgyn ar y mynyddoedd lle nad oes un dyn nac anifail, ac ar y creigiau lle nad all dim dyfu. Ond nid ofer ydyw er hyn. Beth ydyw y ffynnon fechan a welwch chwi yn tarddu yn y dyffryn, yr hon sydd yn diodi anifeiliaid y maes, a thrigolion y pentref? Y gwlaw a welwch chwi yn disgyn bymtheg milldir o'r fan yna, ar y creigiau ac ar y mynyddoedd. Yr oeddych chwi yn meddwl yno ei fod yn ofer; ond chwi a welwch nad ofer fu. Beth y mae'r cenllif sydd yn disgyn i lawr o lethr y mynydd yna da? Nid ydyw dda i ddim ond i wneuthur llyn ofer. Na, nid mor ofer ag a dybiech chwi chwi ugain milldir oddiyma; y mae'r llyn yn gwneuthur i'r ddaear darddu a thyfu. Felly y mae'r gair. Dyna rywun yn ei wrando drwy'r blynyddoedd yn ofer, dybygid; nid oes yna ddim daioni yn tarddu ac yn tyfu. Gall nad oes; ond fe allai fod yna lyn yn cael ei ffurfio a fydd yn treiddio rhyw ddyffryn ychydig oddiyno. Bu llawer tad fel llyn i gadw'r dwfr i wreiddio ei blentyn. Er na chafodd y tad ei achub, fe achubwyd y plentyn. Ac y mae ein gwlad ni yn debyg iawn i'r mynyddoedd. Gellid meddwl fod llawer iawn o'r gair yn myned yn ofer yma fel y gwlaw ar y rhai hyny; ond y mae'r gwlaw a ddisgynodd ar y mynydd yna yn tarddu yn ffynnonau dwfr yn ngwastad-diroedd Affrica, yn anialwch Asia, ac yn niffeithwch Môr y Dê. Pe gofynid i ni, Beth ydyw y ffynnonau dwfr sydd yn dechre ymddangos yn nghrasdir China? beth ydyw y dyfroedd sydd yn tori allan yn India? beth ydyw'r ffrydiau sydd yn disgyn ar lethrau bryniau Cassia? beth ydyw yr afonydd sydd yn dechre newid gwêdd Arabia? Y gwlaw a ddisgynodd ar y mynyddoedd yn Mhrydain. "Ni ddychwel ataf yn wag." Ac fel, mewn ystyr naturiol, y mae yn rhaid cael llawer o ddyfroedd mewn gwlad, i gael digon o darth neu leithder yn yr awyr i gadw bywyd llysieuol rhag gwywo, felly y mae yr holl ymwneyd sydd gyda gair Duw yn y dyddiau hyn. Os nad ydyw yn ateb yr un dyben arall, y mae yn cadw ychydig o leithder yn awyr y wlad, ac felly yn attal hyny o rinwedd ac o grefydd sydd ynddi rhag cwbl wywo; ac am hyny nid ydyw yn ofer."—*(Pregeth Sicrwydd Llwyddiant Geiriau Duw:* Esa. lv. 10, 11.)

"Y mae yn debygol nad ydyw yr addewid am orphwysfa y mil blynyddoedd ddim yn addewid *i ni;* ond y mae yr addewid am orphwysfa y nef *i ni.* Pe dysgwylit ti am y nefoedd newydd a'r ddaear newydd sydd mewn addewid, y mae yn ofnus y cait ti ddysgwyl yn ofer, am mai nid addewid i ti ydyw hi; ond pe dysgwylit ti am nefoedd y gogoniant sydd mewn addewid, nid oes perygl i ti gael dy siomi, oblegid y mae hòno yn addewid i bawb a ymeifl ynddi. Fe fu y byd am ychydig heb addewid am orphwysfa ynddo, a mawr oedd ei dywyllwch, annhraethol ei drueni, am y pryd; ond rhoddwyd yr addewid fel seren yn y ffurfafen, ond yr oedd hi mor wanaidd a phell nad allai dim ond drychau cryfion ffydd ei gweled; ond aeth yn ddysgleiriach, ddysgleiriach, am oesoedd, fel y mae erbyn heddyw wedi dyfod, yn iaith y seryddwyr, yn *star of first magnitude*, yn seren o'r maintioli mwyaf. Gellir ei gweled yn eithaf eglur â'r llygad noeth. Nid raid i ni fod yn flin arnom, fel morwyr Paul yn Môr Adria am nad oedd na haul na sêr yn ymddangos iddynt, i wybod pa fodd i gyrhaedd yr hafan ddymunol. Na, y mae yr addewid i ni fel seren y gogledd, bob amser yn yr un màn; ac yn well na hòno, y mae hi bob amser yn weledig; am hyny nis anobeithiwn ddim am fod yn gadwedig, ond ni a wnawn ein goreu fel hwynt am gyrhaedd y porthladd cyn y gauaf. Y mae'r *channel* yn ddigon peryglus; ond y mae *lighthouse* yr orphwysfa yn dangos pa fodd i lywio fel ag i ochel y sugndraeth a'r graig. Y mae ein teulu ni yn ddigon tlodion; ond y mae ewyllys gyfoethog iawn wedi ei gwneyd yn ein ffafr. Os ydym yn y daeardŷ fel Jeremïah, ni raid i ni farw yno; y mae rhaff yr addewid wedi ei gollwng i lawr atom; pe cydit ti ynddi, y mae yna rywun ar enau y daeardŷ a ddechreua dy *windio* di i fyny yn y fan. Ni raid i ti ddim aros yn nghaethiwed y priddfeini; os credi di eiriau Duw trwy Moses ac Aaron, fe dy welir di yn Nghanaan yn eistedd o dan dy winwydden a'th ffigysbren dy hun, heb neb i aflonyddu arnat." —*(Ofnwn gan fod Addewid:* Heb. iv. 1.)

"Mi deimlwn i y pryder mwyaf yn nghysgod amynedd, er mai amynedd Duw ydyw, am fod terfyn iddo; ond mi fentrwn drugaredd mewn Iawn heb bryderu, am fod hòno o dragywyddoldeb hyd dragywyddoldeb. Dyma'r babell ni thynir i lawr, ac ni syflir yr un o'i hoelion yn dragywydd; am hyny ni raid ofni symud iddi i fyw. Yr oedd y llongau a gollasant yn ddiweddar ar dueddau Sir Gaernarfon wedi troi i mewn i gilfachau

bychain oeddynt yn burion cysgod tra byddai y gwynt o ryw ffordd benodol; ond pan drôdd hwnw yn y nos, ni thalai y gilfach ddim; aeth yn llongddrylliad arnynt yn fuan. Ond pe buasent wedi troi i angorfa ddiogel *(harbour of refuge)*, ni buasai o bwys iddynt o ba le y buasai y gwynt yn chwythu; buasent yn ddiogel ar bob awel. Cilfach sydd yn rhoddi cysgod pur dda ydyw amynedd Duw; y mae yma lawer yn ddiogel yn y gilfach yr awr hon; ond pe troai y gwynt cyn y bore, ni thalai dy gilfach di ddim. Os mynit ochel dinystr, rhaid dyfod i'r porthladd diogel—i gysgod Iawn y groes; yna chwythed yr awel o'r lle y chwytho, 'Gŵr a fydd yn ymguddfa.' Amynedd Duw a fyddo yn eich cymhell chwi i chwilio am gysgod gwell."—*(Amynedd yn Iachawdwriaeth*: 2 Pedr iii. 15.)

"Nid gwaith hawdd fu cael cadw pechadur yn bwnc cyfraith. Nid gorchest fechan fu cael sylfaen teml trugaredd ar greigiau adamantaidd cyfiawnder; a thywod a fuasai pob peth arall yn sylfaen iddi. Yr ydys yn cael cryn drafferth i gael *act* neu gyfraith i wneyd rhai o'r *railways*, ac nis gellir eu gwneyd heb hyny, o herwydd y maent yn myned trwy diroedd yr arglwydd yma a'r boneddwr draw, ac y mae cyfraith y deyrnas yn sicrhâu awdurdod y pendefigion ar eu hetifeddiaethau; ac am hyny rhaid myned i draul fawr i gael cyfraith arall, seiliedig ar gyfiawnder, i fyned yn drech na'u hawl hwy ynddynt. Dyna oedd ar ben Calfaria: talu y swm mawr i gael *act* neu gyfraith gyfiawn i gadw yn fyw. Ac yn awr, beth bynag yw hawl y deddfau eraill, y mae hawl hon yn gryfach na hwynt oll. Fe fethodd Darïus gael cyfraith i gadw Daniel yn fyw heb ddirmygu y gyfraith oedd yn myned â'i fywyd. Ond am Frenin Sïon, 'efe a fawrhâ y gyfraith, ac a'i gwna yn anrhydeddus,' wrth wneuthur y gyfraith i gadw yn fyw. Y mae hen ddeddfau y deyrnas yn gwenu ar y gyfraith newydd, oblegid y maent oll wedi ennill arni. Y mae yn wir fod y gyfraith newydd yn un ddyeithr; o herwydd pwy erioed a glywodd am drugaredd yn myned yn gyfraith? Nid oes dim lle i drugaredd mewn deddf. Cadwen gadarn o gyfiawnder yw deddf. Y mae pob deddf gyfiawn o anghenrheidrwydd yn un dda; ond nis gall trugaredd berthyn iddi. Ar droseddwr y mae anghen hono, ac nid oes gan ddeddf gyfiawn ddim i droseddwr ond cosb. Ond y mae cyfraith y cadw yn fyw yn drugaredd ddigymysg, ac eto yn gyfiawn odiaeth. Ac yn hyn y mae ei phrydferthwch hi: fod pethau wedi cydgyfarfod ynddi na welwyd mo honynt yn yr un lle erioed o'r blaen. 'Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant; cyfiawnder a heddwch a ymgusanasant.' O'r blaen byddai cyfiawnder yn sefyll o'r neilldu pan y byddai trugaredd wrth ei hoff waith, a thrugaredd, hithau, yn sefyll o'r neilldu ac yn wylo pan y byddai cyfiawnder yn ymogoneddu ar y ddaear. Ond yma wele y ddau wedi cydgyfarfod mewn cyfraith. Wele drugaredd yn estyn pardwn i'r euog, a hwnw wedi ei lawnodi gan gyfiawnder; trugaredd, fel y Samaritan da, yn codi y truan archolledig ar ei hanifail, ac yn ei ddwyn i'r llettŷ i'w ymgeleddu, a chyfiawnder yn dyfod yno gyda hi i dalu drosto; trugaredd yn tywallt olew a gwin maddeuant i'w glwyfau, gan ofyn, 'Pwy yw yr hwn sydd yn damnio?' a chyfiawnder yn ateb yn ol yn y fan, 'Crist yw yr hwn a fu farw.'"—*(Cyfraith y Llofrudd*: Deut. xix. 4.)

Y bregeth neillduol ar y geiriau, "Yr Arglwydd yw fy Mugail, ni bydd eisieu arnaf," sydd yn diweddu fel y canlyn:—

"Dyma ni yn gynnulleidfa o deithwyr: ni wyddom ni ddim am y daith, ond yn unig am ei hŷd hi. Y mae genym ryw flaenbrawf yn ein meddwl ei bod hi yn dragywyddol. Y mae *map* o'r byd a ddaw wedi ei gynllunio ar ein hysbryd ni; yr ydym yn teimlo fod ein ffordd drwy ganol y byd hwnw. Ac yr ydym oll yn ymddiried mewn rhywbeth ar gyfer y daith. Ond beth ydyw hwnw? Ar ba beth mae eich goglud chwi? Rhyw lwybr bychan ydyw y byd hwn i'n harwain i brif-ffordd y byd a ddaw. Ond y mae miloedd yn dechre bod mewn eisieu cyn darfod y llwybr byr yma; y mae eu holl ddarpariaeth yn darfod cyn dechre ar ffordd y byd a ddaw. Os mewn cyfoeth yr ydwyt ti yn ymddiried, at gyfoeth y cei di fyned; ond, cofia, ti a fyddi mewn eisieu tragywyddol. Os yn dy weithredoedd yr wyt ti yn meddwl ymddiried, atynt hwy y cei di fyned; ond, cofia, ti a fyddi mewn eisieu. Pan y mae ymfudwyr yn myned drosodd i America, y mae yno rywun cyn cychwyn yn edrych dros yr oll sydd ganddynt, rhag eu bod yn myned â rhy fychan o gynnaliaeth i'r daith. Dyma gynnulleidfa o ymfudwyr i'r byd a ddaw; yr ydym ni oll ar y *pier-head*, ac ni wyddom ddim pa ddiwrnod y byddwn yn croesi. Ond O pa faint sydd yma y foment hon âg anfeidrol ry fychan i'r daith! Pe croesit ti fel yr wyt ti yn awr, byddit mewn eisieu tragywyddol. Nid oes genyt wisg y wlad; nid wyt yn medru siarad gair o iaith Canaan. Nid wyt wedi dysgu ymborthi erioed ar y manna cuddiedig. Ond y mae *out-fitting warehouse*, ystorfa y byd a ddaw, yn ymyl yn awr. Nid oes ond eisieu i ti droi i mewn; y mae'r cwbl i'w gael "heb arian ac heb werth." Cael yr Arglwydd,—ni bydd eisieu wed'yn. Ni bydd arnat eisieu Tad i ofalu am danat tra bydd Duw yn fyw,—dim eisieu Brawd i gydymdeimlo â thi tra bydd Emmanuel mewn bôd,—dim eisieu ymborth tra y bydd ŷd dan lywodraeth Joseph. Y mae'r 'ni bydd eisieu' yma yr un hŷd â thragywyddoldeb ei hunan."

---

THE WORSHIP OF ST. WENEFRIDE, "*The Patroness of Wales*," *or Holywell and its Pilgrims, &c., &c.* *By* THEOPHILUS GEORGE OWENS.

Holywell: published (for the Author) by P. M. Evans & Son. London: W. Kent & Co. Liverpool: George Philip & Son.

Y MAE'R llyfr hwn wedi ei ysgrifenu yn eglur ac yn alluog, ac y mae yn llyfr

rhadlawn iawn am ei bris. Y mae o'r un blŷg â'r DRYSORFA, ac yn cynnwys 132 o dudalenau; ond nid yw ei bris yn fwy na chwech cheiniog; a cheir deuddeg o gopïau am bum' swllt.

Tybygem fod pawb o'n darllenwyr wedi clywed am "Ffynnon Treffynnon," neu Ffynnon Gwenfrewi neu Gwenffrwd, ac amryw o honynt, ysgatfydd, wedi ei gweled; a ffynnon ryfedd ydyw, heb un ffrwd weledig yn llifo iddi, ond ar unwaith yn ymdaflu yn dunnelli lawer o ddyfroedd gloew. Am y ffynnon hon, y chwedl Babaidd ydyw, fod boneddiges ieuanc gyfrifol a chrefyddol o'r enw Brewi neu Breni, un bore Sabboth tua dechre y seithfed ganrif, yn rhedeg ymaith rhag tywysog anniwair o'r enw Cradoc, gan wynebu tua'r eglwys, ac iddo ef ei goddiweddyd ar ochr y bryn, a thori ei phen â'i gleddyf, ac i'r pen dreiglo i lawr y goriwaered, a myned trwy y drws i'r eglwys, er dychryn mawr i'r gynnulleidfa, a lle y gorphwysodd y pen gyntaf i'r ddaear ymrwygo, ac yna fod ffynnon o ddwfr claer yn ymluchio allan. Yr offeiriad gweinyddol ar y pryd oedd St. Beuno; ac mewn atebiad i'w weddi ef, hi a ddaeth yn fyw drachefn, gyda rhimyn gwŷn main o amgylch y gwddf yn dangos y lle y gwahanasid y gwddf oddiwrth ei chorff. Er ys oesoedd lawer bellach, mae'r ffynnon hon yn gyrchfa pererinion Pabaidd o Loegr ac Iwerddon, a lleoedd eraill; a chredir fod gwyrthiau aneirif wedi eu cyflawni yma o bryd i bryd trwy haeddiant ac eiriolaeth St. Gwenfrewi; ac y mae *indulgences* neillduol, neu lythyrau maddeuant, yn cael eu hestyn i'r pererinion sydd yn rhoi addoliad i Santes Gwenfrewi.

Y mae Mr. Owens wedi ei eni a'i fagu yn Nhreffynnon, ac yn fab i'r diweddar Mr. Thomas Owens, Gerddi Beuno, Treffynnon, yr hwn oedd flaenor tra adnabyddus ymysg Methodistiaid Sir Fflint, ac i lïaws yn siroedd eraill Gogledd Cymru; ac y mae efe, er ys blynyddoedd bellach, yn hysbys fel darlithydd medrus yn Saesoneg ar Brotestaniaeth a Phabyddiaeth. Yr oedd ganddo ef gymhwysder mawr, gan hyny, i gyfansoddi llyfr ar *The Worship of St. Wenefride;* ac nis gall un Protestant a'i darlleno lai na chymeradwyo a chanmawl y llyfr, a derbyn addysg dda oddiwrtho.

Yr ydym yn cael yma ddarfod i'r dysgedig Esgob Fleetwood, yr hwn a olynodd Beveridge yn esgobaeth Llanelwy, yn 1706, gyhoeddi llyfr ar y Santes a'r Ffynnon yn y flwyddyn 1713; ac efe a ddywed ei fod, ar ol edrych i'r holl hen hanesion Prydeinig a Chymreig y gwyddid am danynt, yn cael nad oedd un awdwr, mewn ysgrif nac mewn argraff, oedd yn byw o fewn pum' can' mlynedd i amser Gwenfrewi, yn gwneyd cymaint ag enwi ei henw, na dyweyd gair am dani, ac mai gan Robert, mynach o'r Amwythig yn y ddeuddegfed ganrif, yr ysgrifenwyd yr adroddiad cyntaf am dani, yr hwn nad oedd yn abl i wirio dim o'r chwedlau yn mherthynas iddi.

Rhoddir ger ein bron ffurf o weddïau ar y Santes, y rhai nas gall dim fod yn fwy cableddus. Cenir pennillion o fawl iddi hefyd, ac yn eu mysg y pennill canlynol:—

"Dear Saint, though now from vale and
mountain
Thy faith and virgin love are fled,
Yet, while flows on thy hallowed fountain,
We 'll hope in thee, St. Winefred."

Nis gallwn gael gofod i ddilyn yr awdwr yn yr hyn a ddywed am ddelw gysegredig a chreiriau sanctaidd Gwenfrewi, penydiau rhai o'r pererinion wrth y ffynnon, yr holl lythyrau at y Santes a roddir mewn basged addurniadol o flaen ei hallor, a'r llïaws o bethau eraill tra dyddorol. Y mae efe yn ymdrin yn helaeth am "wyrthiau" St. Gwenfrewi, ac yn dynoethi yr adroddiadau am danynt yn rymus a diarbed. Dengys fod y Pabyddion yn cymeryd yn ganiatäol ddau beth anmhosibl eu profi: 1. Fod y meddyginiaethau a gafwyd trwy y ffynnon yn wyrthiau; ac yn 2. Eu bod wedi eu heffeithio trwy weithrediad St. Wenefride. Y mae llawer o Brotestaniaid, medd efe, wedi yfed y dwfr, ac ymolchi yn y ffynnon, a chael gwelliant iechyd; a pha fodd y gall Pabyddion brofi eu bod wedi eu hadferu trwy eiriolaeth Santes, yr hon, os bu hi byw erioed, a gladdwyd dros ddeuddeg can' mlynedd yn ol, pan y mae cannoedd wedi gwella heb ei heiriolaeth? Cawn amryw hen chwedlau digrif am wyrthiau penodol trwyddi hi, sydd yn profi fod dynsodion yn yr oesau a'r dyddiau hyn yn myned rhagddynt "gan dwyllo a chael eu twyllo." Nid oes neb o drigolion Treffynnon, meddir yma wrthym, wedi bod erioed yn llygaid-dystion o'r un o wyrthiau Gwenfrewi; ac os byddant byth yn clywed am wyrthiau'r ffynnon, ni bydd hyny yn gyffredin hyd ar ol i fisoedd, os nad blynyddoedd, fyned heibio ar ol y pryd y dywedir y dygwyddasant. Olrheinir naw o welliadau fel eu cyhoeddwyd mewn llyfryn Pabaidd yn y flwyddyn 1874. Dyma un o honynt:—

"Yr oedd gan eneth o'r enw Gavanna law wywedig, nad allai hi wneyd defnydd o honi, ac yr oedd y meddygon yn dywedyd nad oedd gwellâd iddi. Yn ei hymdrochiad cyntaf, adferwyd iddi yn berffaith y defnydd o'i braich."

Ac ar hyn sylwa Mr. Owens,—

"Nid yw yr adroddiad yn rhoddi un hysbysiad am yr amgylchiadau, neu neillduolion, trwy ba rai y gallai rhywun diduedd brofi gwirionedd yr ystori. Ni ddywedir i ni pa bryd, neu yn mhresennoldeb pwy y cyflawnwyd y gwellâd a honir; ac ni chyhoeddir enwau y meddygon oedd wedi bod gyda yr eneth cyn iddi ddyfod ar bererindod i Dreffynnon, a'r rhai a ddywedasent nad oedd iddi obaith gwellhâd; ac nid oes yma ddim i ddangos pwy ydoedd hi. Gadewir yr oll yn anmheuodol, annilys, annigonol, a chaddugol. Agi ni gymeryd hyn yn ganiatäol, fod Gavanna wedi gwella megys yr adroddir, mi a ofynaf, A ydyw pawb a dderbyniasant welliadau hynod yn y ffynnon wedi eu hiachâu yn wyrthiol? Neu os ydynt, ai Gwenfrewi oedd yn gwneyd y gwaith? Neu, ai trwy ei heiriolaeth hi ei cyflawnwyd? Onid yw yn resyn na buasai y naill neu'r llall o ryw seintiau nodedig wedi cymeryd meddiant o Drefriw, Llandrindod, ac eraill leoedd Cymreig, heblaw Treffynnon, sydd enwog am eu dyfroedd? Mae meddyginiaethau mawrion yn cymeryd lle yn flynyddol yn y mânau hyny, fel y mae profiad lliaws yn tystio, ond heb *wyrth* yn eu mysg hwy oll, o herwydd, ysywaeth, nid ydynt dan nodded un sant gwarcheidiol, at yr hwn y gall y rhai cystuddiedig a methedig anfon eu deisyfiadau!"

Caiff y darllenydd adroddiadau am a sylwadau ar "wyrthiau" eraill sydd mor neu yn fwy tarawgar nag un yr eneth Gavanna; ac ni a hyderwn mai meddiann y llyfr ei hun a wna ein cyfeillion yn gyffredinol. Cânt ynddo bethau a ennyn eu syndod a'u gresyndod, ac a rydd iddynt olwg ar "ddirgelwch yr anwiredd yn gweithio eisoes" yn Nghymru, mewn "arwyddion, a rhyfeddodau gau, a phob dichell anghyfiawnder," a'u dysgu ynghylch yr anghenrheidrwydd am yr ysgolion gwrth-Babaidd, ac ymdrechiadau eraill, yn y parth o'n gwlad sydd mor agored i ddylanwad y grefydd Babaidd. Mae y llyfr drwyddo oll yn werth ei ddarllen, ac, "a ddarlleno, ystyried."

---

HAND-BOOKS FOR BIBLE CLASSES. *Edited by Rev.* MARCUS DODS, D.D., *and* ALEXANDER WHITE, D.D.

THE BOOK OF GENESIS. *With Introduction and Notes by* MARCUS DODS, D.D.

THE REFORMATION. *By* T. M. LINDSAY, M.A., D.D., *Professor of Divinity and Church History, Free Church College, Glasgow.*

Edinburgh: T. & T. Clark, 38 George St.

AR ol y llyfrau hylaw a gyhoeddwyd gan y Meistri Clark, Edinburgh, yn eglurhaol ar nifer o lyfrau yn yr Hen Destament a'r Newydd, dyma yn awr ger ein bron lawlyfr ar y llyfr cyntaf yn yr Ysgrythyr, pris dau swllt, gan Dr. Dods, un o olygwyr holl gyfres yr *Hand-Books for Bible Classes.* Ni a welwn y cadwyd mewn golwg gyda phob un o'r llyfrau hyn, am iddynt fod yn gyfaddas, yn ol eu teitl, i'r Dosbarthiadau Beiblaidd yn yr Ysgolion Sabbothol, neu y rhai a ymgyfarfyddant yn yr wythnos dan arweiniad gweinidog neu rywun arall; ac felly y mae'r llyfr hwn ar Genesis yn hynod gymhwys er hyfforddiant a dygiad ymlaen y cyfryw ddosbarthiadau. Canfyddir nas gall yn ol ei faint ddyhysbyddu yn esboniadol unrhyw gyfran neu fater; ac ni byddai hyny yn adeiladol i feddwl ymchwilgar. Ond y mae pob eglurhâd a roddir yma yn glaer ac yn gryno, ac yn symbyliad, yn gystal ag yn gymhorth, i'r darllenydd fyned ymlaen i geisio allan ymhellach o lyfr yr Arglwydd; ac felly yn enwedig y mae yr holiadau sydd i'w cael ar ddiwedd pob pennod.

Yn ein dyddiau ni y mae gwyddoniaeth wedi ac yn dwyn allan ystorfeydd hynod o wybodaeth am arwyneb y ddaear, a'r creigiau arni ac odditani, gan arddangos bob blwyddyn, fel y dywed Dr. Dods, yn ei Arweiniad i mewn, cyfrinach oedd wedi bod yn guddiedig er dechre'r byd. Ac y mae yn rhaid dal hyn mewn côf wrth esbonio y bennod gyntaf o Genesis, fel na osoder y dadguddiad oddiwrth Dduw, a'i weithredoedd ef, yn erbyn eu gilydd. Ac yn hyn y mae'r llaw-lyfr hwn yn gymhwys a deheuig, ac felly yn briodol i'n hamser presennol ni. Gwelir hefyd fod yr esboniwr wedi cymeryd mantais fawr oddiwrth hen ysgrifeniadau Dwyreiniol, a theithiau diweddar, i egluro yr hanes am yr Aipht, a'r holl wledydd oddiamgylch, a'u harferion, a goffeir yn Genesis.

Y llyfr arall ger ein bron yw hanes y Diwygiad Protestanaidd gan y Dr. Lindsay. Ceir yma brif gynnwysiad cyfrolau mawrion o hanesyddiaeth wedi eu crynhoi i lyfr dau swllt o ran ei bris, ond yn llawer iawn mwy o ran ei werth. Y mae wedi ei ddosbarthu yn bedair rhan: I. Y Diwygiad Germanaidd yn dybenu yn yr Eglwysi Lutheraidd—oddimewn ac oddiallan i Germany. II. Y Diwygiad Swissaidd yn dybenu yn yr Eglwysi Diwygiedig (*Reformed*). Ceir yma bump o bennodau: y Diwygiad Swissaidd dan Zuinglius—yn Geneva dan Calvin—yn Ffrainc—yn yr Iseldiroedd—ac yn Scotland. III. Y Diwygiad yn Lloegr: Eglwys Loegr dan deyrnasiad Harri yr Wythfed—y Diwygiad dan Edward VI. a'r Gwrthweithiad o dan Mari—a'r Diwygiad dan Elizabeth. IV. Egwyddorion y Diwygiad: i. Y Diwygiad yn adfywiad Crefyddol. ii. Pa fodd y

daeth y Diwygiad i gyfarfyddiad â Gwladlywiaeth. iii. Catholigrwydd [neu rydd-frydedd] y Diwygwyr. iv. Egwyddorion Athrawiaethol y Diwygiad.

Y mae ein darllenwyr yn gweled oddiwrth y fath gynnwysiad nad oes unpeth o bwys perthynol i'r Diwygiad Protestanaidd, i'r hwn yr ydym oll mor ddyledus, wedi ei adael allan o'r llaw-lyfr hwn. Ac yn nesaf at hyddysgedd yn "y gyfraith a'r dystiolaeth" Ddwyfol, nis gallwn feddwl am ddim yn fwy gwerthfawr i'n cyfeillion ieuainc yn gyffredinol na mynu bod yn gyfarwydd yn y diwygiad mawr drwy Luther a'i gyfoeswyr, y nesaf mewn pwys i'r diwygiad cyntaf drwy yr apostolion.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA Y RHYL.

RHAGFYR 5ED, 6ED, A'R 7FED, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

DYDD MAWRTH, RHAGFYR 5ED.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

*O Sir Fôn:*—Yn ein Cyfarfod Misol a gynnaliwyd heddyw, yn Ebenezer, Caergybi, rhoddwyd adroddiad gan y cyfeillion a anfonwyd genym i ymweled â'r achos yn Dublin am eu hymweliad; a phenderfynwyd, gyda zel, ein bod yn annog y Parch. S. A. Frazer i gyflwyno yr Adroddiad i'r Gymdeithasfa yn y Rhyl, a'n bod yn mawr obeithio y gall y Gymdeithasfa weled ei ffordd i gynnorthwyo ein cyfeillion yn Dublin i gyrhaedd yr amcan teilwng sydd ganddynt mewn golwg; ein bod hefyd yn annog y Parch. John R. Jones a Mr. Davies, Dublin, i roddi eu presennoldeb yn y Gymdeithasfa, er mwyn iddynt hwythau roddi eu hadroddiad am sefyllfa yr achos crefyddol yn eu plith.—JOHN WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

*O Leyn ac Eifionydd:*—Yn Nghyfarfod Misol Penrhos, a gynnaliwyd Hydref 28ain, 1882, penderfynwyd,—Ein bod yn dymuno cyflwyno i ystyriaeth y Gymdeithasfa y priodoldeb o ddychwelyd at yr hen ddull o benodi y dydd Diolchgarwch, sef fod y Gymdeithasfa yn gwneyd hyny ei hunan, ac nid yn gadael y penodiad i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol fel yn bresennol, am y rheswm y byddai hyny yn fwy effeithiol er cael undeb yn y gwahanol Siroedd gyda golwg ar hyn, ac hefyd am yr arbedai y drafferth o ymohebu rhwng y gwahanol Gyfarfodydd Misol ar y peth.—D. ROBERTS, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd:*—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn y Bettws, Tachwedd 2, 3, penderfynwyd,—Ein bod yn anfon i'r Gymdeithasfa i ofyn ar iddi ganiatâu ymdriniaeth arbenig ar y pwysigrwydd o'n bod ni oll fel swyddogion eglwysig yn ddirwestwyr da, ac yn gwneyd ein goreu yn mhlaid yr achos Dirwestol.—D. M. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

*O Sir Fflint:*—Yn Nghyfarfod Misol y Berthen, Hydref 16eg, penderfynwyd anfon i'r Gymdeithasfa y gofyniad canlynol:—"Pa fodd y dylid gweithredu tuag at aelodau eglwysig sydd yn gwneyd arferiad o fod yn absennol o'r cyfarfod eglwysig yn ystod yr wythnos?"—Yn Nghyfarfod Misol Rhosllanerchrugog, Tachwedd 27ain, penderfynwyd galw sylw y Gymdeithasfa at "Yr Adroddiad am Feddiannau y Cyfundeb."—JOHN JONES, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Liverpool:*—Mewn Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Nghapel Crosshall Street, Liverpool, Tachwedd 29ain, 1882, penderfynwyd,—Ein bod yn anfon i'r Gymdeithasfa i ofyn pa beth sydd yn cael ei wneyd gan y Cyfeisteddfod a benodwyd i wneuthur ymchwiliad i'r anhawsderau a geir i gael tir i adeiladu capelau yn *freehold.*—J. GRIFFITH, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Llundain:*—Dymunir ar y Gymdeithasfa i benodi Cyfeisteddfod i ystyried rhai pethau o berthynas i'r eiddo sydd yn gysylltiol â Chapel Nassau Street.—JOHN W. JONES, *Ysg.*

III. Gyda golwg ar y genadwri o Leyn ac Eifionydd o berthynas i benodiad Dydd Diolchgarwch am y Cynauaf, penderfynwyd,—Fod brodyr o Gyfarfodydd Misol Môn, Arfon, Lleyn ac Eifionydd, a Gorllewin Meirionydd, i ymgyfarfod o flaen Cymdeithasfa Sir Gaernarfon bob blwyddyn i ymgynghori ar yr adeg fwyaf cyfleus i gynnal y Dydd Diolchgarwch am y Cynauaf, fel y gallo y Gymdeithasfa benodi y diwrnod i'r holl Siroedd.

IV. Penderfynwyd, ar ol i'r cenadon o Ddyffryn Clwyd ddyweyd gair am amcan y genadwri ar yr achos Dirwestol, yr hon a ddaethai o'r Cyfarfod Misol hwnw, fod y mater hwn i gael sylw pellach y Gymdeithasfa yn y cyfarfod ddydd Mercher.

Ynglŷn â hyn dygwyd i sylw gais a wnaethid gan yr *United Kingdom Alliance* ar i'r Gymdeithasfa basio penderfyniad ar *Local Option.* Nodwyd nifer o frodyr i dynu allan benderfyniad ar hyn, i'w gynnyg yn nghyfarfod y Gymdeithasfa ddydd Mercher. Annogwyd hefyd ar fod i ymdrechion lleol gael eu gwneyd o blaid yr achos Dirwestol, ac o blaid *Local Option.*

V. Bu ymdriniaeth faith a phwyllog ar y genadwri a ddaethai o Sir Fflint o berth-

ynas i'r Cyfarfod Eglwysig yn yr wythnos, a'r modd y dylid gweithredu at y rhai sydd yn gwneyd arferiad o fod yn absennol o'r cyfarfod hwn.—Tystid fod y gŵyn a gynnwysai y genadwri yn un gyffredinol; fod yn llawer anhaws nag y bu cael yr aelodau i roddi eu presennoldeb, ac yn llawer anhaws cynnal y cyfarfodydd yn effeithiol yn awr nag ydoedd mewn amser y mae rhai yn cofio am dano. Er hyny, sicrheid fod y cyfarfod eglwysig y dyddiau hyn mewn lliaws o fanau yn un tra buddiol ac adeiladol, ac yn cael ei werthfawrogi gan yr aelodau ieuainc yn gystal a'r henafgwyr. Teimlid y dylai y Gymdeithasfa ddadgan ymlyniad cryf wrth y cyfarfod eglwysig, ac anfon annogaeth gref ar i bob ymdrech gael ei wneyd er ei ddwyn ymlaen yn effeithiol. Enwyd brodyr i dynu allan benderfyniad ar y mater i'w gyflwyno i'r Gymdeithasfa y dydd dilynol.—O berthynas i'r ail genadwri o Sir Fflint, yn galw sylw at y ffaith nad yw yr Adroddiad am Feddiannau y Cyfundeb yn cynnwys yr holl gapelau perthynol i'r Cyfundeb yn Sir Fflint, cynghorwyd y brodyr o Gyfarfod Misol y Sir uchod i ohebu â'r Ysgrifenydd Cyffredinol er mwyn cael yr eglurhâd gofynol.

VI. Yn ol dymuniad Cyfarfod Misol Môn, yn eu cenadwri i'r Gymdeithasfa o berthynas i'r Achos Cymraeg yn ninas Dublin, darllenwyd adroddiad y brodyr a fuant yn ymweled â Dublin, ac a benodasid i hyny gan Gyfarfod Misol Môn ar gais y Gymdeithasfa. Sylwedd yr adroddiad ydoedd, fod sefyllfa bresennol y Capel Cymraeg yn Dublin, er yn ganolog o ran lle i bob rhan o'r gynnulleidfa, eto yn hollol anaddas i gynnal addoliad Dwyfol; fod lle cyfleus i adeiladu capel ar werth mewn rhan arall o'r ddinas, yn ymyl Trinity Church; eu bod yn credu y gellid cael darn o'r tir, yn cynnwys ugain llath o *frontage* ac ugain llath o ddyfnder, neu i'r cefn, am tua £1500; a bod *Land Agents* a *Valuers* y buwyd yn ymddyddan â hwy yn ystyried hyny yn bris rhesymol; eu bod yn ystyried y gellid cael o £800 i £1000 am y capel a'r tŷ presennol, ac y gellid adeiladu capel a thŷ newydd am o £800 i £1000, teilwng o'r enwad a'r lle; fod y cyfeillion yn Dublin yn meddwl yn gryf y gallant yn awr addaw £200 at y draul, a'u bod yn gobeithio gallu gwneyd ychwaneg.

Ar ol cryn drafodaeth, penderfynwyd, Ein bod yn cymeradwyo ac yn cymhell fod i'r tir hwn (perthynol i'r Trinity Church, Dublin) gael ei sicrhâu yn ddioed yn feddiant i'r Cyfundeb. Penderfynwyd hefyd ar fod y Gymdeithasfa yn addaw cynnorthwyo at y draul o brynu y tir, a chael capel gweddus arno. — Er mwyn hwylusdod i ddwyn y pryniad o amgylch yn ddioed, awdurdodwyd Dr. Thomas y Llywydd presennol, y Parch. John Williams, Rhyl, y Llywydd etholedig, mewn undeb â'r Parch. S. A. Frazer, Mr. W. Thomas, Ucheldrefgoed, a Mr. J. R. Davies, U.H., Treborth, o Sir Fôn, a'r Parch. J. R. Jones a Mr. Davies o Dublin, i arwyddnodi *note of hand* am y swm o arian angenrheidiol i sicrhâu yr amcan, hyd oni cheir arian i law trwy gyfroddion a chasgliadau.

VII. Cafwyd sylw ar hen Gofnodau y Gymdeithasfa a'r Cyfarfodydd Misol, yr hyn oedd wedi bod dan sylw mewn amryw Gymdeithasfaoedd yn ddiweddar. Sicrheid y gellid cael yr oll o'r Cylchlythyrau o'r dechreu, ac y bydd y personau a benodwyd i ofalu am eu cael yn dwyn eu hadroddiad i'r Gymdeithasfa nesaf. — Tystid fod yr amrywiol Gyfarfodydd Misol hefyd yn troi eu sylw at y mater, ac yn ymdrechu casglu ynghyd y cofnodau sydd ar gael o'u gweithrediadau yn y blynyddoedd a aethant heibio. Y mae cofnodau Cyfarfod Misol Sir Ddinbych am y deng mlynedd ar hugain diweddaf ar gael.—Er cyflawniad mwy effeithiol o'r gorchwyl hwn, ac er ei ddwyn i derfyniad mewn amser rhesymol, penderfynwyd, Ein bod yn dymuno ar fod adroddiad ysgrifenedig yn cael ei barotoi erbyn y Gymdeithasfa nesaf, gan y brodyr a benodwyd i hyny, am Hen Gofnodau y Cymdeithasfa; ac fod adroddiad ysgrifenedig yr un modd yn cael ei barotoi gan Ysgrifenyddion y gwahanol Gyfarfodydd Misol erbyn Cymdeithasfa Mehefin am bob Cofnodau perthynol i'r Cyfarfodydd Misol, ynghyd a phob manylion hanesyddol a allant fod ar gael yn ein gwahanol wledydd, a bod yr adroddiadau hyny yn cael eu hanfon i Ysgrifenydd y Gymdeithasfa.

VIII. Etholwyd y Parch. John Williams, Rhyl, yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn 1883.

IX. Penderfynwyd cyfeirio y gofyniad cynnwysedig yn y genadwri o Gyfarfod Misol Liverpool i Gynnullydd y Cyfeisteddfod y cyfeirir ato yn y genadwri, sef Mr. J. Jones, U.H., Llanfyllin.

X. Yn unol â rhybudd blaenorol, galwodd y Parch. Daniel Rowlands, M.A., ystyriaeth y frawdoliaeth at drefn bresennol cyfarfodydd y Gymdeithasfa, a'r dymunoldeb o gael cyfnewidiad yn y drefn er gwneyd y Gymdeithasfa yn fwy buddiol ac effeithiol. Wedi i amryw draethu eu meddwl mewn ffordd o gymeradwyo yr amcan, os gellid ei ddwyn oddiamgylch yn bwyllog ac esmwyth, cyttunwyd i benodi pwyllgor i ystyried y mater, ac enwyd y brodyr canlynol i fod ar y pwyllgor:—y Parchn. Dr. Edwards, Dr. Thomas, Dr.

Hughes, Robert Hughes, Gaerwen; John Jones, Pwllheli; John Williams, Rhyl; Mri. S. Dew, T. Lewis, Peter Roberts, Parch. Roger Edwards, Mr. D. Roberts, Liverpool; Mr. Owen Williams, Glanclwyd; Parch. Joseph Thomas, Parch. R. Roberts, Dolgellau; Mr. Robert Rowland, Mr. John Jones, Ashlands; Mr. Charles Hughes, Parch. William James, B.A., Mr. R. Hughes *(Glan Collen)*, Parch. Daniel Rowlands, M.A., Mr. R. Williams, Drefnewydd; Mr. John Jones, Llanfyllin; y Parch. S. A. Frazer, a'r Parch. J. Williams, Colwyn. Cynnullydd,—y Parch. D. Rowlands, M.A.

XI. Mewn atebiad i'r genadwri o Lundain, ac ar ol darllen y llythyr a anfonasid gyda golwg arni oddiwrth Drysorydd yr achos yn Nassau Street, wedi cryn ymdriniaeth, ac adgofio y penderfyniad y daethpwyd iddo yn Mangor, cyttunwyd ar yr hyn a ganlyn:—Ein bod yn dymuno cyfeirio ein cyfeillion yn Llundain at y penderfyniad a wnaed genym yn ein Cymdeithasfa yn Mangor, yn Awst a Medi, 1880, gyda golwg ar yr eiddo yn Nassau Street—penderfyniad a ddeallid genym ni, ar y pryd, yn cael ei dderbyn gan y ddwy blaid fel yn hollol derfynol ar yr anghydwelediad rhyngddynt, a phenderfyniad, dybygid, y gweithredwyd ganddynt hwythau, fel Cyfarfod Misol, yn ei ol, yn y *receipt* a roddwyd gan ei Gadeirydd, yn rhyddhâu y cyfeillion yn Nassau Street oddiwrth bob gofyn ychwanegol. Ein bod yn dymuno galw sylw neillduol y Cyfarfod Misol at y rhan ddiweddaf o'r *receipt* hwnw, copi o'r hwn a ddanfonwyd i ni, — "Which sum is paid in final settlement of the claims of the Building Fund, in respect of the property connected with Nassau Street Chapel; and the Monthly Meeting hereby further releases the said church from any responsibility in respect of the Debt remaining on Poplar Chapel."—Ein bod fel Cymdeithasfa ymhellach yn dymuno, yn y modd mwyaf serchog a difrifol, ar i'n cyfeillion yn Llundain ymdrechu dyfod yn ddioedi i gydolygiad a thawelwch gyda golwg ar yr achos hwn, ac ar fod pob un o honynt yn ceisio gwneuthur yr oll a allo er meithrin heddwch ac undeb rhwng ein gwahanol eglwysi yno â'u gilydd, ac, yn enwedig, na byddont yn gadael i unrhyw ddyryswch oblegid ychydig gannoedd o bunnau fod yn achlysur ymryson a allai derfynu mewn terfysg ac ymraniad, ag y byddai yn alaethus meddwl am eu canlyniadau dinystriol i achos y Gwaredwr yn eu mysg mewn blynyddoedd dyfodol.

XII. Cafwyd ychydig o ymddyddan ar y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr; a chyttunwyd i'w darllen yr ail waith yn y Gymdeithasfa hon fel y pasiwyd hwy yn Nghymdeithasfa Pwllheli, heb unrhyw gyfnewidiad ynddynt.

XIII. Ymofynwyd am sefyllfa y Cyfeisteddfod Cenadol Sirol yn y Siroedd oedd heb roddi adroddiad am ei sefyllfa yn y Gymdeithasfa ddiweddaf. Cafwyd fod y Cyfarfodydd Misol yn gyffredinol yn amcanu ei ddwyn i weithrediad effeithiol, ac fod y gwaith yn cael ei wneyd yn Arfon, hyd yn hyn, gan y Cyfarfodydd Dosbarth. Dygwyd ar gof fod sefyllfa bresennol cyllid y Genadaeth Dramor yn galw am yr ymdrech mwyaf egnïol yn yr holl Siroedd er cynnyddu y casgliadau.

XIV. Hysbyswyd gan y Llywydd am y gynnadledd ynghylch yr Achosion Seisonig oedd wedi cael ei chynnal y dydd blaenorol: ei fod yn amcan gan y brodyr sydd yn llafurio gyda'r Achosion Seisonig i gael cydgyfarfod weithiau i galonogi y naill y llall, ac i sylwi ar agwedd ddufewnol yr eglwysi y perthynant iddynt, yn gystal a gwneyd pob peth a allont tuag at deilyngu cydymdeimlad llwyr yr Eglwysi Cymreig, ond heb un amcan, ar hyn o bryd, at ffurfio dim âg awdurdod ganddo, o natur Henaduriaeth, neu Gyfarfod Misol. —Cyttunwyd yn unfrydol,—Ein bod fel Cymdeithasfa yn llawenhâu wrth glywed am y symudiad hwn sydd â'i amcan at greu mwy o undeb rhwng yr Eglwysi Seisonig a'u gilydd, ac o duedd i'w dwyn i gydweithio yn fwy effeithiol, a'n bod yn gwir ddymuno llwyddiant yr Achosion Seisonig o fewn cylch ein Cymdeithasfa.

XV. Rhoddwyd annogaeth wresog i egni gael ei wneyd trwy yr holl Siroedd o blaid lledaeniad cyhoeddiadau cyfnodol y Cyfundeb, sef y DRYSORFA, *Trysorfa y Plant*, y *Treasury*, a'r *Newyddion Da*. Argymhellwyd y *Traethodydd* hefyd i sylw cymeradwyol ein holl eglwysi.

XVI. Ymofynwyd o berthynas i benderfyniadau y Pwyllgor Dirwestol, y rhai a gymeradwywyd gan Gymdeithasfa Harlech, i ba raddau yr oeddynt yn cael eu dwyn i weithrediad. Ystyrid fod y trydydd penderfyniad yn un pwysig i'w gario allan, yr hwn sydd fel y canlyn:—"Ein bod yn annog fod llyfr dan ofal y swyddogion ymhob eglwys i gymeryd enwau ein haelodau a'n gwrandäwyr ydynt eisoes yn llwyrymwrthodwyr. Hefyd fod cyfeisteddfod mewn cysylltiad â phob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth er arolygu y gwaith yn yr eglwysi, a chydweithredu â Chyfeisteddfod y Gymdeithasfa."

Wrth ymofyn â chynnrychiolwyr y Siroedd, cafwyd fod ymdrech led gyffredinol yn cael ei arfer i ddyfod i fyny âg annogaethau y Cyfeisteddfod Dirwestol.

*(I barhâu.)*

*Y Pregethu.*

Nos Fawrth, Rhagfyr 5ed, yn nghapel Clwyd Street, pregethodd y Parch. R. Lumley, Egremont, yn Saesoneg; ac yn nghapel Vale Road, y Parchn. J. Jones, F.R.G.S., Pwllheli, a J. Pritchard, Amlwch.

Nos Fercher, yn nghapel Clwyd Street, y Parchn. W. R. Jones, Caergybi, a Dr. Hughes, Liverpool; ac yn nghapel Warren Road, y Parchn. G. Owen, Rhosddu, Wrexham, a R. Edwards, yr Wyddgrug.

Dydd Iau, yn nghapel Clwyd Street, am 10, y Parchn. J. Williams, Bangor, a Dr. O. Thomas, Liverpool; am 2, y Parchn. D. Williams, Liverpool, a R. Lumley; ac am 6, y Parchn. W. Jones, Penrhyndeudraeth, a J. Prichard. Am 6 yn yr hwyr yn Warren Road, y Parchn. D. Jones, Machynlleth, a T. Gray, Manchester,; a'r un amser yn Vale Road, y Parch. S. A. Frazer, Môn, a David Williams.

---

Y PARCH. D. C. DAVIES, M.A.

Crybwyllwyd yn Nhrysorfa Rhagfyr am ymadawiad Mr. Davies â Llundain fel trigfa, ac fel maes ei weinidogaeth, a bod Mrs. Davies ac yntau am breswylio bellach yn arosol yn Mangor Uchaf. Yn Nghyfarfod *Misol* Llundain yn niwedd Tachwedd, penderfynwyd, "Fod y cyfarfod yn dymuno dadgan ein gofid diffuant o herwydd ymadawiad Mr. Davies o'n plith ar ol cysylltiad o fewn ychydig i bum' mlynedd ar hugain, gan fod ei weinidogaeth wedi tueddu yn fawr i goethi a dyrchafu y gwrandäwyr, ac iddo fod o wasanaeth dirfawr, yn enwedig i'n pobl ieuainc, a'n bod yn dymuno iddo adferiad iechyd a hir oes i wasanaethu ei genedl yn y pulpud a thrwy y wasg, ac yn hyderu cael ei weled yn ein plith eto yn nghyfarfodydd blynyddol y Pasc, ac ar adegau eraill; a bod ein cofion gwresocaf yn cael eu hanfon at Mrs. Davies, yr hon fel boneddiges a edmygid mor fawr ac a berchid mor gyffredinol yn ein mysg, a'n bod o'n calon yn dymuno hir oes iddi i gynnorthwyo ei phriod, ac i wasanaethu ei chenedlaeth, yn ol ewyllys Duw."

---

SEFYDLIADAU A SYMUDIADAU GWEINIDOGION.

Yn mis Tachwedd diweddaf, cynnaliwyd cyfarfod sefydliad Mr. David Elias, Goetre, Pontypool, yn weinidog ar yr achos Seisonig yn Nghastellnedd; y Parch. Ebenezer Jones, gweinidog yr eglwys Gymreig yn Nghastellnedd, yn llywyddu. Rhoddwyd hanes yr eglwys gan Mr. D. Thomas. Nid oedd ynddi ond 6 aelod pan ei cychwynwyd ddwy flynedd a hanner yn ol, ond yr oedd y nifer erbyn hyn yn 44, a deiliaid yr Ysgol Sabbothol ar gyfartaledd yn 130. Rhoddwyd cynghorion i Mr. Elias gan y Parch. W. Williams, Abertawe, ac i'r eglwys gan y Parch. Morris Morgan, Treforris. Anerchwyd y cyfarfod hefyd gan D. Davies, Ysw., diweddar faer y dref, ac un o flaenoriaid y capel Cymraeg, a chan frodyr eraill. Mawr lawenychid am fod yr achos, er yn dra ieuanc, yn ymddangos mor siriol ac addawol.

Yn Nghyfarfod Misol Sir Frycheiniog ar ddiwedd Tachwedd, darllenwyd llythyr o eglwys y Watton, Aberhonddu, yn hysbysu fod y frawdoliaeth yno wedi rhoddi galwad i Mr. E. W. Parry, mab i'r Parch. G. Parry, Aberystwyth, i ddyfod yn weinidog iddynt, a'i fod yntau wedi cydsynio â'r gwahoddiad; a chan fod Mr. Parry ei hun yn wyddfodol yn y cyfarfod hwnw, rhoddwyd derbyniad croesawgar iddo.

Yr ydym yn deall fod yr eglwys Gymreig yn Wilton Square, Llundain, wedi rhoddi galwad ar y Parch. J. Elias Hughes, M.A., Llanelwy, i'w bugeilio, ac iddo yntau arwyddo parodrwydd i gydsynio â'r cais.

Y mae'r Parch. D. Charles Evans, Rhyl, wedi symud i fyw yn Mhorthaethwy neu Bont Menai. Darllenwyd llythyr ei gyflwyniad o Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd i Gyfarfod Misol Môn, yn y cyfarfod yn Ebenezer, Caergybi, y mis diweddaf; a rhoddwyd yno i Mr. Evans groesawiad parod a siriol.

---

Y CANMLWYDDIAD YN LIVERPOOL.

Nos Fercher yr 22ain o fis Tachwedd diweddaf, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn Hengler's Circus, Liverpool, er coffadwriaeth am ddechreuad yr achos Methodistaidd Cymreig yn Liverpool yn 1782, sef gan' mlynedd yn flaenorol, pryd yr ymgasglodd cynnulleidfa lïosog, er fod y tywydd yn anffafriol, a thâl yn cael ei godi am fyned i mewn. Llywyddwyd gan D. Roberts, Ysw., Hope Street, a Than'r allt, Abergele, y blaenor hynaf yn y ddinas. Darllenwyd rhanau o'r Gair gan y Parch. G. Ellis, M.A., Bootle, a gweddïodd Mr. Richard Williams, hen flaenor hybarch Birkenhead. Darllenodd Mr. Griffith, Egremont, Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, lythyr oddiwrth y Parch. Dr. Edwards, Bala, yn dadgan ei analluogrwydd i ddyfod i'r cyfarfod fel ei gwahoddwyd. Cafwyd anerchiad priodol a rhagorol gan y Cadeirydd; ac yna cyfarchwyd y cyfarfod gan y Parchn. Dr. O. Thomas, R. Edwards, yr Wyddgrug (y ddau yn rhoddi adgofion hanesyddol am yr achos yn Liverpool); Dr. Hughes; D. Saunders, Abertawe (hwynt-hwy ar achosion llwyddiant y gwaith o'r dechreuad hyd yn awr); R. Lumley, Egremont, yn Saesoneg; Joseph Thomas, Carno (cynghorion i'r frawdoliaeth); a H. Jones, Liverpool. Cynnygiwyd gan y Parch. O. Jones, B.A., a chefnogwyd gan y Parch. O. Owens, a chymeradwywyd yn unfrydol, ddiolchgarwch i'r Cadeirydd; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. David Williams. Heblaw y brodyr a enwyd, ynghyd a'r Parchn. Josiah Thomas, M.A.; Peter Jones, Birkenhead; John Foulkes, Shaw-street; a Henry Jones, Hoylake, yr oedd yn y cyfarfod, ac ar yr esgynlawr, y gweinidogion canlynol o enwadau eraill:—Y Parchn. J. Thomas, D.D., W. Roberts; H. Jones o Birkenhead; a D. Roberts o Wrecsam (Annibynwyr); W

Williams, a Charles Davies (Bedyddwyr); a Dr. Howat (English Presbyterian); ac yr oedd yno hefyd amryw o foneddigion lleygol. Yr oedd yn gyfarfod bywiog; a hyderid y gwneid coffhâd canmlwyddol eto ar weithred, yn gystal ag ar air, mewn ysgogiad o haelioni adnewyddol at ryw achos teilwng, perthynol i Fethodistiaid Liverpool. Darllener hanes dechreuad bychan yr achos yno, fel ei ceir yn y *Methodistiaeth Cymru* gan y diweddar Barch. J. Hughes, a'r ystadegau fel eu darllenwyd yn Nghymdeithasfa'r Sulgwyn diweddaf; ac anhawdd fydd ymattal rhag dywedyd, "Mor gadarn y cynnyddodd gair yr Arglwydd ac y cryfhäodd!"

---

CRONICLAU HAELIONI.

Yn Nghyfarfod Misol Sir Gaerfyrddin pasiwyd penderfyniad o ddiolchgarwch gwresog i Syr James Drummond, Barwnig, Rhydodyn, am ei garedigrwydd yn rhoddi darn o dir yn ymyl capel Tal y llychau yn rhad at wasanaeth yr achos yno.

Yn y Cyfarfod Misol yn Machynlleth, perthynol i Drefaldwyn Uchaf, hysbyswyd fod David Davies, Ysw., A.S., Llandinam, yn chwanegol at ei fawr haelioni blaenorol at y Gronfa Gynnorthwyol, yn addaw eto £200 y flwyddyn hon (1883), a'i frawd yn nghyfraith, y Parch. Evan Jones, Trewythen, £20 fel o'r blaen.

---

MARWOLAETH Y PARCH. ROBERT ROBERTS, DOLANOG, TREFALDWYN ISAF.

Dydd Sadwrn, y 9fed o Ragfyr diweddaf, ar ol misoedd o gystudd trwm, bu farw y Parch. R. Roberts, Dolanog, yn 74 mlwydd oed. Nos Sabboth, y 27ain o Awst, y pregethodd am y tro diweddaf, a hyny yn ei gartref gydag eneiniad neillduol, oddiar Heb. xii. 14. Bu yn pregethu dros 40 mlynedd; ac ordeiniwyd ef yn y fl. 1859. Yr oedd efe dros 30 ml. oed pan yn dechre pregethu. Er nas cyfrifid ef yn bregethwr mawr, fel y dywedir, yr oedd yn bregethwr cynhes ei ysbryd, a gwreiddiol ei ddawn; ac yn sianel yr hen efengyl, "yr efengyl dragywyddol," y ceid ef yn wastad; a nodwedd ar ei bregethau oedd, fel y dywed y Sais, *short and sweet;* pob un yn tèr a phêr. Yr oedd ei dduwioldeb yn ddiammheuol, ei dymher yn hynaws a charedig, yn gymeradwy yn y teïau y llettyai ynddynt, yn gyfaill y plant, yn onest yn gystal ag yn dirion, ac yn rhagorol am gadw cyfarfod eglwysig. Dybenodd ei yrfa mewn tangnefedd a gorfoledd. Daeth tyrfa fawr i'w angladd, er fod y tywydd yn anhyfryd; a chafodd gladdedigaeth teilwng o ŵr Duw.

---

WYTHNOS Y GWEDDIAU.

Yr ydym yn hyderu fod ein holl gyfeillion yn edrych ymlaen yn hyderus ac yn awyddus at wythnos y gweddïau eto eleni: yn bryderus rhag bod mewn ysbryd cyffredin gyda chyfarfodydd anghyffredin, ac yn awyddu am gydgyfarfod gyda yr holl frawdoliaeth, y naill noson ar ol y llall, i daer weddïo am adfywiad ar wir grefydd yn ein cartrefleoedd a'n gwlad yn neillduol, ac am lwyddiant yr efengyl drwy y byd yn gyffredinol. Dechreuir y Sabboth cyntaf o'r flwyddyn newydd hon, sef Ionawr 7fed, pryd y dysgwylir y bydd y pregethau o'r pulpud, ac anerchiadau o'r sêdd fawr, yn galw sylw at gyfarfodydd gweddïau y dyddiau canlynol. "Y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd, na ddystewch, ac na adewch ddystawrwydd iddo, hyd oni sicrhäo ac hyd oni osodo Jerusalem yn foliant ar y ddaear."

---

# Bywgraffiaeth.

MR. JOHN WILLIAMS, SILOAM, LLANFROTHEN.

Os bu neb erioed yn haeddu lle yn y Drysorfa, yr ydym yn credu fod gwrthddrych y sylwadau hyn felly. Er nad ydym yn ei osod ymhlith dynion mawr yr oes yn yr ystyr a roddir yn gyffredin i'r gair, yr ydym yn credu ei fod yn gymeriad ardderchog. Yr oedd ganddo ddynoliaeth ragorol, a hono wedi ei sancteiddio gan yr Ysbryd Glân. Er nad oedd, o herwydd ei amgylchiadau, wedi ennill cyhoeddusrwydd fel llawer o ddiaconiaid y dyddiau hyn, yr oedd ei barch a'i ddylanwad yn ei eglwys a'i gymydogaeth yn fawr iawn. Yr ydym yn sicr hefyd nad oedd erioed wedi gosod hyn yn nôd i ymgyrhaedd ato, ond fel y mae rhinwedd a gweithgarwch bob amser yn ennill parch a dylanwad. Fel y dywed y bardd.

"Honour and shame from no condition rise;
Act well your part, there all true honour lies."

Ganwyd John Williams mewn ffermdŷ bychan o'r enw Bryngoleu, yn yr ardal uchod; ac yno y preswyliai hyd o fewn rhyw bum' mlynedd i'w farwolaeth, pan y rhoddodd heibio bob peth ac yr aeth i fyw i dŷ bychan yn nês i'r capel. Enw ei rieni oeddynt William a Jane Jones, neu William Siôn a Siân Jones, fel eu gelwid. Yr ydym yn meddwl nad oedd ei dad yn grefyddwr proffesedig; ond yr oedd yn ddyn cymeradwy gan ei holl gydnabod. Yr oedd ei fam yn aelod ffyddlawn iawn hyd ei bedd. Ni chafodd J. Williams ei ddwyn i fyny yn yr eglwys, yn unol â'r arferiad cyffredin y pryd hyny. Ond nid ymollyngodd i ddilyn bywyd penrhydd, fel llawer o'i gyfoedion; ond yr oedd yn wr ieuanc bucheddol a hynod gymeradwy gan ei holl gydnabod. Bu ei dad farw yn ddyn cymharol ieuanc, a disgynodd gofal y teulu arno ef; a chadwodd gartref cysurus i'w fam tra y bu fyw, yr hon a fu

farw mewn henaint teg yn y flwyddyn 1859. Magodd fel hyn deulu mawr, er nad oedd ganddo blant ei hun. Magodd ddau bregethwr. Y cyntaf oedd y diweddar Mr. William Jones, yr hwn a fu farw ychydig fisoedd wedi iddo ddechreu pregethu. Y llall yw y Parch. W. R. Jones, Caergybi. Gallem feddwl ei fod tua 30 oed pan ymunodd â chrefydd. Yr oedd hyn ymhen tua blwyddyn wedi i'r eglwys ymadael o hen ysgoldŷ y Wern, ac ymhen tua thair blynedd wedi i'r diweddar Barch. Richard Jones ymadael o'r ardal. Wedi iddo ymuno â chrefydd, ymroddodd o ddifrif i weithio, ac ymhen tua chwe' blynedd dewiswyd ef yn flaenor; ac y mae yn sicr mai nid yn aml y llanwyd y swydd yn well gan neb o'i frodyr. Am lawer o flynyddau, bu bron holl bwysau yr achos ar ei ysgwyddau ef. Cerddodd am flynyddoedd i'r Cyfarfodydd Misol a chyfarfodydd eraill, a hyny heb gael dim am ei lafur a'i amser; ac yr oedd hyn yn aberth mawr i un o'i amgylchiadau ef. Aberthodd lawer o'i amser mewn gwahanol ffyrdd i wasanaethu crefydd.

Nid yw yn hawdd dyweyd beth oedd neillduolion ei gymeriad. Yr oedd ganddo ddynoliaeth ragorol, a'i gwahanol ranau mewn cymesuredd pur agos. Yr oedd y gwahanol elfenau yn bur gyfartal ynddo ef, heb un yn tynu llawer mwy o sylw na'r llall. Yr oedd yn ddyn penderfynol a gwrol iawn, ac eto nid oedd yn un anmhlygadwy. Gair da yw yr hen air Cymraeg *ystwythgryf;* ac yr ydym yn meddwl y gellid ei gymhwyso ato ef. Fel yr Apostol Paul, pan welai fod gwirionedd yn y cwestiwn, safai yn gadarn fel y graig; ond mewn amgylchiadau eraill, gwnai ei hun yn bob peth i bawb, os gallai wneyd rhyw ddaioni trwy hyny. Ymosodai yn llym yn erbyn pob drygioni, ond dangosai ei fod yn caru y troseddwr tra yn ei geryddu yn y modd llymaf, fel na byddai y ceryddedig braidd byth yn digio wrtho. Cymerai bwyll mawr i chwilio pob achos cyn gwneyd sylw o hono. Darfu iddo trwy hyn osgoi llawer craig beryglus tra y bu yma yn llywyddu yr achos.

Heblaw ac uwchlaw hyn oll, yr oedd yn ddyn duwiol iawn; ac y mae yn bur sicr mai dyma y prif reswm am ei nerth a'i lwyddiant. Yr oedd ganddo ddylanwad mawr yn yr eglwys a'r gymydogaeth, a pheth anghyffredin fyddai clywed neb yn dyweyd dim yn ei erbyn. Yr oedd ganddo allu nodedig i arwain a chynnal cyfarfodydd eglwysig, a bu bron holl bwysau y gwaith hwn ar ei ysgwyddau am gyfnod maith. Yr oedd yn gyfarwydd yn yr Ysgrythyrau, ac yr oedd ganddo gyflawnder o hanesion tarawiadol a dywediadau pert o eiddo hen bregethwyr yr oes o'r blaen. Yr oedd yn hoff iawn o goffâu dywediadau synwyrlawn y diweddar R. Humphreys, Dyffryn, o'r hwn yr oedd yn edmygydd mawr.

Gan waeledd a llesgedd ei iechyd, bu yn gwywo am amryw flynyddau cyn ei farwolaeth; ac er ei fod o ran ei ysbryd yn iraidd, ac yn amlwg yn addfedu i'r Nefoedd, yr oedd llesgedd ei gorff yn effeithio yn fawr ar ei yni a'i ddefnyddioldeb gyda chrefydd. Tua'r adeg yma daeth i feddwl rhai o'i gyfeillion am wneyd tysteb fechan iddo, fel math o gydnabyddiaeth am ei lafur a'i ffyddlondeb, ac i sirioli ychydig ar ei feddwl yn ei lesgedd. Cymerwyd y peth i fyny gyda zel anghyffredin, a chyrhaeddodd y swm o ddeugain punt, ynghyd a Bibl Teuluaidd hardd. Cynnaliwyd cyfarfod i gyflwyno y dysteb iddo, pryd yr oedd yn bresennol, heblaw y cyfeillion cartrefol, Mr. Thomas Williams, Croesor; y diweddar Barch. G. Williams, Talsarnau; a'r Parch. R. Owen, yn awr o ardal yr Wyddgrug; a chafwyd anerchiadau priodol ganddynt, ac ychydig eiriau ganddo ef ei hun. Ymhen yspaid wedi hyn cafodd *stroke* ysgafn, ac ni ddaeth ond ychydig o'r tŷ wed'yn; ac yr oedd yn lled ddyryslyd a hurt ei feddwl ar adegau; ond pan gaffai egwyl, byddai yn bur hapus ei feddwl ac uchel ei brofiad.

Bu farw mewn tangnefedd Mai 16, 1879, yn 74 mlwydd oed, wedi bod yn aelod eglwysig am 44 o flynyddau, ac yn ddiacon am 37. Claddwyd ef y dydd Mawrth canlynol, Mai 21ain, gan dyrfa lïosog yn mynwent henafol Llanfrothen. Gwasanaethwyd yn y capel cyn cychwyn gan y Parch. O. Parry, gweinidog y lle y pryd hwnw, ond yn awr o'r Cefn bach, Môn; a'r nos Sabboth canlynol traddodwyd ganddo bregeth angladdol iddo oddiar Heb. xiii. 7. Nawdd y Nef a fyddo dros ei weddw yn ei hunigedd, a disgyned deuparth o'i ysbryd ar lawer eto yn y lle.

E. W.

Yn gynhes gan ugeiniau—anwylid
Siôn William, Bryngolau,
Hen wron plaen ei eiriau,
O synwyr gwych senai'r gau.

Hawdd ei wel'd oedd ei dduwioldeb—ei zel,
A'i ddiwên ffyddlondeb;
Bu fyw i Naf heb ofn neb,
Bu i'n ardal yn burdeb.

ALAFON

---

# Amrywiaethau.

### CYNGHORION I RIENI.

PEIDIWCH dysgwyl gormod oddiwrth y plant bychain. Yr ydych chwi wedi cael deugain mlynedd, mwy neu lai, i'ch gwneuthur yr hyn ydych; a chyda eich holl weisi o brofiad, nid ydych, mi dybygwn, yn ddifai eto. Na ddysgwyliwch mewn plentyn farn bwyllog, neu amynedd mawr dan yr hyn sydd yn brofedigaeth iddo. Cydymdeimlwch â'r plant yn eu camgymeriadau a'u gofidiau, ac na wnewch byth wawd o honynt. Gadewch iddynt gael pob difyrwch diniwed sydd gyrhaeddadwy iddynt. Bum yn fynych yn teimlo wrth weled cynlluniau plant bach am bethau y dysgwylient bleser mawr oddiwrthynt, yn cael eu rhwystro yn ddiachos gan bobl mewn oed, pryd y buasai eu helpio yn gweini cysur i'r rhai bychain ag y buasent yn ei gofio drwy eu hoes.—*Mam.*

### BYW AR AWYR.

ADRODDIR fod un arglwydd esgob yn dywedyd

wrth glerigwr oedd â'i bersonoliaeth mewn plwyf bychan a thlodaidd, "Yr ydych yn byw mewn lle y mae awyr hyfryd." "Ydwyf, fy arglwydd," ebe yntau; "mi a'i cyfrifwn yn hyfryd pe bawn yn gallu byw *ar* awyr yn gystal ag *mewn* awyr."

CREFYDD HEB ATTAL Y TAFOD.

Yr oedd gwraig, a adnabyddid fel un siaradus iawn, yn dywedyd unwaith wrth yr hybarch Rowland Hill, "Yr oeddwn yn dygwydd bod gryn lawer yn ddiweddar gyda Phabyddion; ac yr oeddynt yn fy nhemtio yn fawr i newid fy nghrefydd." "Ai ïe yn wir, *ma'am?*" atebai Mr. Hill, "nis gwyddwn i hyd yn awr fod genych yr un grefydd i'w newid."

BETH A RODDAF FI?

Rhoddwch i'r newynog fwyd—i'r noeth ddillad—i'r claf ymgeledd—i'r athrist air o gysur—i bawb y cyfarfyddoch â hwy wên a chyfarchiad siriol. Rhoddwch faddeuant i'ch gelynion; rhoddwch glust amyneddus i'r cwynfanllyd, rhoddwch eich cariad i'ch holl dylwyth; ac, uwchlaw y cwbl, rhoddwch eich calon i Dduw.—*Bible Society Gleanings for the Young.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## Llydaw.

Llythyr oddiwrth y Parch. W. Jenkyn Jones, dyddiedig Rosporden, Finisterre, Tachwedd 6ed, 1882.

Anwyl Gyfaill,—Fel yr ydych eisoes yn gwybod, darfu i mi dreulio tua chwech wythnos yn Lorient, cyn gwneyd fy nghartref am dymmor yn Rosporden, er mwyn dysgu yr iaith Lydawaeg. Tref gymhariaethol newydd ydyw Lorient, a adeiladwyd gan Gwmpeini India Ddwyreiniol, ddechreu y ganrif ddiweddaf; ac er mai nid hi ydyw prif dref talaeth Morbihan (neu Môr-bychan) mewn ystyr wladol, eto y mae y boblogaeth yn llawer mwy nag un dref arall yn y dalaeth,—y mae ei thrigolion yn rhifo agos ddeugain mil, a chymeryd i mewn y pentrefi cymydogaethol. Y mae yn un o'r pump porthladd milwrol lle yr adeiledir llongau i'r llynges Ffrengig; ac y mae oddeutu pedair neu bum' mil o weithwyr yn cael eu bywioliaeth fel seiri, gofaint, &c., yn y porthladd. Yn ychwanegol at y rhai hyn, y mae yma filoedd o filwyr a morwyr y Llywodraeth, y rhai, ynghyd a'r gwahanol swyddogion, a wnant i fyny gorff y boblogaeth.

Bu amser pan yr oedd y bobl hyn yn cael eu gwasgu gan orthrwm yr ymherodraeth; ond erbyn hyn y mae pethau wedi newid, a'r wlad yn mwynhâu rhyddid oddiwrth ymyriad uniongyrchol â'i hawliau, er nad yw hyd yma yn ei holl gysylltiadau yn rhydd oddiwrth ddylanwad dirgelaidd y clerigwyr Jesuitaidd a'u pleidwyr, y rhai sydd fel llyffaint yr Aipht yn gorchuddio y wlad.

Eto, mwynhâ y bobl erbyn hyn ryddid i raddau helaeth, ac y maent yn ddigon dewr i fanteisio oddiwrth y rhyddid hwnw; a'm hamcan yn bresennol yw rhoddi ychydig o hanes y cyfarfodydd sydd yn cael eu dwyn ymlaen yn Kerentrech, pentref mawr yn ymyl Lorient, lle y mae Mr. Groignec yn byw, trigolion pa un a wneir i fyny gan mwyaf o weithwyr y porthladd.

Ar y 12fed o Fedi y dechreuwyd y cyfarfodydd hyn, ac y maent er hyny yn cael eu cynnal bob nos Fawrth. Y maent yn cael eu dwyn ymlaen ar gynllun cyfarfodydd McAll yn Paris, neu gyfarfodydd Mri Moody a Sankey. Y mae canu yn elfen bwysig yn nygiad y cyfarfodydd yn mlaen; y pennillion a'r tonau wedi eu dewis gan mwyaf o gasgliad Mr. Sankey, ac y mae yr un gallu ad-dyniadol ynddynt yn Llydaw ag a deimlid yn Nghymru.

Yr oedd cryn bryder yn meddyliau y cyfeillion gyda golwg ar lwyddiant y cyfarfodydd; yr oeddid wedi sicrhau ystafell ddigon eang i 80 eistedd ynddi, a chredem y byddai yn llawn ddigon mawr.

Cefais y fraint o fod yn y cyfarfod cyntaf, a bod yn bresennol mewn chwech yn olynol. Ofnem rhag y byddai i rai greu terfysg, a cheisio rhoddi terfyn ar yr ymdrechion yn y ffordd hono. Ond yn hollol groes i hyny y trodd allan. Y noswaith gyntaf, fel yr oeddem yn agoshâu at yr ystafell, canfyddem ei bod wedi ei gorlenwi, a bod ugeiniau y tu allan yn methu cael lle i fyned i mewn, a thrwy lawer o drafferth y llwyddasom i wneyd ein ffordd i'r ystafell. Yr oedd yn yr ystafell y noswaith hono oddeutu chwech ugain o bobl, ac oddeutu pedwar ugain wrth y drysau, tra yr oedd ugeiniau wedi dychwelyd tua chartref.

Rhanwyd papyrau yn cynnwys y pennillion a genid rhwng y gynnulleidfa, a dechreuwyd y cyfarfod drwy ganu "Daliwch afael." Yr oedd y bobl yn gwrando yn astud ac yn ymddangos fel yn cael eu boddloni gan y canu, a cheisiai rhai o honynt eisoes uno yn y gân pan y cenid y pennillion diweddaf. Yna darllenwyd rhanau o'r ysgrythyr—dammeg yr hauwr—gan Mr. Kissel, a gwnaeth ychydig sylwadau yn fyr oddiwrth y geiriau. Yna canwyd drachefn "Iesu o Nazareth," ac yr oedd yn amlwg oddiwrth sirioldeb y bobl eu bod yn hoffi y dôn, a'i bod yn sicr o ddyfod yn *favourite* ganddynt. Yna gwnaed dadganiad o amcan y cyfarfodydd gan Mr. Kissel (y gweinidog) mewn anerchiad byr, gwresog a phwrpasol, a llwyddodd i gael sylw yr

holl gynnulleidfa, ac yr oedd dystawrwydd hyd yn nod wrth y drysau, a'r holl bobl yn clustfeinio er mwyn clywed beth oedd yn ei ddyweyd. Yr oedd llawer math o wrandäwyr yno, bid siwr, fel yn amser ein Gwaredwr, a gwahanol gasgliadau yn cael eu tynu oddwrth yr hyn a welid ac a glywid; ond yr oeddem yn berffaith hyderus fod yno rai oedd yn ewyllysio gwybod yn fanylach ffordd Duw, a'u gwynebpryd yn dangos eu bod yn ddigon addfwyn i gymeryd eu dysgu gan yr "addfwyn a'r gostyngedig Iesu."

Wedi canu drachefn, a gweddi fer, terfynwyd y cyfarfod, gyda hysbysiad y byddai y cyfarfod nesaf y nos Fawrth canlynol yn dechreu am wyth o'r gloch. Ar ddiwedd y cyfarfod rhanwyd oddeutu cant a hanner o draethodau bychain, a mawr oedd yr awydd a ddangosid am eu cael.

Yr oeddem yn ceisio dyfalu beth oedd yr argraff gyffredinol a adawyd ar feddwl y gynnulleidfa, ac a fyddent yn debyg o roddi eu presennoldeb yn ein cyfarfodydd drachefn, wedi i'r chwilfrydedd gyda golwg ar ein cynnulliad cyntaf gael ei foddloni; ac yr oedd wythnos o amser yn ymddangos yn faith i ddysgwyl am atebiad i'n dyfaliadau. Y nos Fawrth canlynol, er fod y tywydd yn anffafriol, — y gwlaw yn syrthio, a'r gwynt yn uchel, cawsom yr ystafell wedi ei gorlenwi, ac ugeiniau yn methu myned i mewn, er nad oedd eto ond hanner awr wedi saith. Dechreuwyd y cyfarfod ar unwaith, gan nad oedd o un dyben aros, a chawsom fod yno gryn gynnydd yn y gynnulleidfa. Yr oedd llawer yn canu, a rhai o'r plant eisoes wedi dysgu y pennillion ar eu cof, gan eu bod wedi cael myned â'r papyrau oedd yn cynnwys y pennillion adref gyda hwy. Yr oedd llawer o honynt yn codi ar eu traed i ganu, ac yn dangos cryn falchder eu bod eisoes wedi dysgu y tonau. Yr oedd yno rai yn gwenu ac yn ymddangos dipyn yn ysgafn, ac ymysg eraill oedd felly sylwais ar un o forwyr y Llynges; ond pan ganwyd pennillion oedd yn son am yr efengyl fel *goleudŷ* i'r morwr, yn arwain at Grist sydd yn noddfa i bechadur, newidiodd ei wyneb, ac ymddangosai yn llawer mwy ystyriol; ac er hyny yr oedd yn rhoddi ei bresennoldeb bob amser yn y cyfarfodydd, a phob amser yn astud ac yn cynnorthwyo i gadw trefn. Yr oedd y bobl yn gwella o'r naill gyfarfod i'r llall, yn dyfod yn fwy astud wrth wrando, ac yn uno yn y gân, ac yn y diwedd yn canu amryw o'r hymnau heb edrych yn eu llyfrau; a mawr oedd yr awydd bob nos am gael traethodyn bychan i fyned adref gyda hwy. Mae arwyddion amlwg fod yr Arglwydd yn gwneyd gwaith yn eu plith, a phan fydd Efe yn gweithio, fe wna y gwaith yn effeithiol: y mae amryw o honynt eisoes yn dechreu mynychu yr addoliad cyhoeddus yn Lorient gyda chysondeb, yr hyn sydd yn gam pwysig, ac yn debyg o ddiweddu drwy iddynt ymwrthod yn llwyr âg Eglwys Rhufain. Weithiau siaredir yn y cyfarfodydd gan ddyn ieuanc o filwr, bryd arall gan Mr. Groignec, a bydd Mr. Kissel, y gweinidog, bob amser yn anerch y cyfarfod; ac erbyn hyn ni waeth pwy fydd yn siarad, y mae yn sicr o wrandawiad. Ni wneir un amser ymosodiad uniongyrchol ar y Babaeth, ond siaredir gwirioneddau syml yr efengyl, yr "arfau nad ydynt gnawdol, ond nerthol drwy Dduw," ac fe ddygant gestyll y Babaeth i'r llawr yn y diwedd, er cryfed y maent yn ymddangos. Ac y mae yr offeiriaid yn deall hyny; y mae *cure* (parson) Kerentrech wedi bod yn cyhoeddi o'r pulpud ei anathema yn erbyn y rhai oedd yn rhoddi eu presennoldeb, ac yn dyweyd eu bod "eisoes âg un troed yn uffern, ac y dylent ofalu rhag rhoi y llall yno" drwy wneyd hyny drachefn. Ond nid oedd hyn yn tycio, ac yn nesaf gwnaeth ymosodiad drwy gyfrwng un o'r papyrau clerigol, a phrophwydai derfyn buan i'r cyfarfodydd wedi i'r newydd-deb fyned heibio. Ond ymlaen y maent yn myned er gwaethaf ei esgymundodau a'i watwaredd, ac y mae yn sicr ei fod ef wedi cynnorthwyo ychydig drwy roddi cyhoeddusrwydd iddynt yn y papyrau: "ei anwiredd yn ymchwel ar ei ben ei hun, a'i draha yn disgyn ar ei gopa ei hun." Nid yw hyn i ryfeddu ato yn y modd lleiaf, gan eu bod fel Alexander y gof copr yn gweled gobaith eu helw yn darfod; y maent yn ymddangos yn llawn zel dros uniondeb, ac yn gresynu camwri ac anghysondeb y Llywodraeth yn cau i fyny dai y Jesuitiaid, ac yn eu gorfodi i ymadael, tra ar y llaw arall yn goddef i gyfarfodydd "hereticaidd" gael eu cynnal heb awdurdod y Llywodraeth.

Fel hyn y mae y gwaith yn myned yn ei flaen yn raddol, ac y mae fod mudiad fel hwn yn myned yn ei flaen mewn un lle yn fantais i gael mudiad cyffelyb mewn manau eraill. Pwy a ŵyr nad yw yn ddechreuad cyfnod newydd yn y rhan hono o'r wlad?

Gadewais Lorient â'm hysbryd wedi ei wresogi, gyda mwy o awydd nag erioed i wneyd fy ngoreu, a mwy o ffydd yn llwyddiant y gwaith. Yn wir, nid oes eisieu ffydd gref iawn pan y gellir gweled â'n llygaid yr hyn sydd yn cael ei wneyd; ac er fod tref Lorient lawer ar y blaen i'r wlad yn gyffredinol, ac yn bresennol mewn sefyllfa fanteisiol i wneyd gwaith ynddi, eto nid oes genym ond gobeithio ac ymddiried yn yr Arglwydd am lwyddiant y gwaith drwy y wlad oll.

## RHANAU O ADRODDIAD MR. GROIGNEC.

GYDA llythyr arall dyddiedig Tachwedd y 27ain, anfonai Mr. Jenkyn Jones gyfieithiad o adroddiad a ysgrifenasai Mr. Groignec am daith a gymerasid ganddynt ill dau. Nis gallwn roddi ond y dyfyniadau canlynol:—

"Cyfarfuasom â gŵr sydd yn meddu copi o'r Testament Newydd er's blynyddau. Bydd yn ei ddarllen, gan eistedd ar y gadair o flaen drws ei dŷ; ac y mae yn fynych yn dyweyd wrth ei gymydogion yr hyn y mae yn ei ddarllen, ac yn dangos fel y mae yn taro yn erbyn yr hyn a ddysga yr offeiriaid. Ymwelsom hefyd â Kernevel. Prynodd un wraig gopi cyflawn o'r Ysgrythyr. Cyn gwneyd hyny gofynodd ai nid y Bibl Protestanaidd ydoedd, a chawsom felly gyfleusdra i amlygu paham yr oeddem yn myned oddiamgylch fel hyn drwy y wlad; mai nid masnachu yr oeddem, ond yn teimlo anghenrhaid wedi ei osod arnom gan gariad at Iesu Grist. Cymerodd yr ymddyddan le yn nghlywedigaeth tri o ddynion, a phrynodd y wraig gopi cyflawn, gan ddyweyd y gwnai ddefnydd o hono yn ei theulu. Cyfarfuasom â ffermwr oedd yn meddu copi o'r Ysgrythyr er ys blynyddau, a dywedai ei fod yn fynych yn ei ddarllen i'w gymydogion, a'u bod oll yn cyfaddef fod y geiriau yn cyffwrdd â'u calon. Mae cael hanes ambell i gopi fel hyn yn y wlad yn lloni ein hysbryd yn llawn cymaint a gwerthu rhai newyddion; ac yr ydym yn sicr fod yma ugeiniau i'w cael, ond fe allai fod llawer o honynt wedi eu gorchuddio â llwch; pan orchymyn Duw, fe ysgydwir ymaith y llwch. Wrth basio, aethom i fewn i'r Ysgoldy, a chawsom gyfleusdra i ymddyddan â'r ysgolfeistr. Ddechreu y flwyddyn yr oedd yr ysgolfeistriaid yn gorfod dysgu y Catecism i'r plant, ac yr oedd gan yr offeiriaid lawer o awdurdod mewn cysylltiad â hwy. Cawsom yr ysgolfeistr, fel y rhan fwyaf ydym wedi eu cyfarfod, yn ddifater am bob peth mewn cysylltiad â chrefydd; y mae yn ddiammheu fod hyn yn ganlyniad i'r orfodaeth oedd gynt yn cael ei osod arnynt. Wedi tipyn o ymddyddan, daeth dipyn yn nês i'w le, a diolchai am nifer o draethodau a gyflwynwyd iddo. Yna aethum yn fy mlaen i Melgren, ar y ffordd i Pontaven *(Pont-avon)*; gan adael Mr. Jones, yr hwn oedd o dan effeithiau anwyd, oblegid croesi y meusydd gwlybion, i'm dilyn pan y gallai i Concarneau, yr hyn a wnaeth ymhen dau ddiwrnod. Yr oedd y trigolion wedi eu gosod ar eu gwyliadwriaeth cyn i mi gyrhaedd y pentref, fel y deallais ar ol hyny mewn amryw o deuluoedd, y rhai a ddywedasant eu bod yn cael eu gwahardd rhag darllen llyfrau Protestanaidd. Cyfarfyddais âg un dyn, oedd yn cadw *shop* i werthu bara a phethau eraill, yr hwn a roddodd dderbyniad caredig i mi. Y mae yn ddyn meddylgar, ac yn darllen pob peth y caiff afael arno. Yr oedd ar y pryd yn siarad â llyfrwerthwr o Concarneau, ac yr oeddent ill dau yn condemnio yr offeiriaid. Ceisiais ddangos iddynt na ddylent osod o'r neilldu bob syniad am grefydd oblegid bywyd anghyson yr offeiriaid, a cheisiais ddangos iddynt eu hanghen am Waredwr, a chyfeirio eu meddyliau at Iesu Grist. Wedi i mi ddarfod, parodd i'w wraig brynu copi, a dywedai, 'Yr wyf fi yn cyflwyno y llyfr yna i ti, fe wnawn ei ddarllen yn y teulu y nos ar ol darfod gwaith y dydd.' Prynodd cymydoges, oedd yn dygwydd bod yn y tŷ, hefyd gopi o'r Testament Llydawaeg iddi ei hun. Yna aethum yn fy mlaen i Concarneau. Dyma y chweched tro i mi fod yno."

---

## Bryniau Khasia a Jaintia.

### TAITH TRWY Y RHAN DDWYREINIOL O KHASIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN ROBERTS, DYDDIEDIG CHERRAPOONJEE, TACHWEDD 21AIN, 1882.

YN unol â'm haddewid yr wythnos o'r blaen, rhoddaf i chwi ychydig o hanes taith a gymerodd Mr. Jerman Jones a minnau i'r rhan hono o'r wlad a elwir Kyndiar.

Arosodd Mr. Hughes a Mr. Jerman Jones yma yn Nongsawlia, ar ol cyfarfod yr Henaduriaeth, am ddeuddydd ar ol y cyfeillion eraill, er mwyn i ni gael ychydig hamdden i adolygu y cyfieithiad o Genesis. Buom wrthi yn ddiwyd, gyda'r dyn dall yn ein cynnorthwyo; ond bu raid ei adael cyn myned yn agos i'w hanner. O hyn i'r diwedd bydd i mi, gyda help y dyn dall, edrych drosto, a phan gawn hamdden, edrychwn gyda'n gilydd dros y cyfnewidiadau a wneir. Bydd hyn yn peri i ni dreulio llai o amser gyda'n gilydd ac o'n gorsafoedd, ond bydd yn gryn ychwanegiad at fy llafur i.

Dydd Iau cychwynwyd am Shillong, lle y treuliwyd y Sabboth. Yr oeddym wedi meddwl cychwyn ddydd Llun i Mawphlang i'r *District Committee*, ond yr oedd yr hin mor ystormus a gwlawog, fel y bu raid i ni aros hyd dranoeth, a thrannoeth drachefn yr oeddwn i yn ddigon gwlyb fy ngwala. Wedi iddi dywyllu fe gyrhaeddodd Mr. Hughes o Nongrymai, ac nid wyf yn meddwl i mi weled neb erioed yn ddim gwlypach, ac mor oered â rhew. Bu Mrs. Griffiths yn garedig iawn wrthym ein dau. Cawsom mai parhâu yn bur wael yr oedd plentyn bach Mr. a Mrs. Evans. Weithiau byddid yn lled obeithiol yn ei gylch, dro arall yn ofni yn fawr, a theimladau y rhieni yn ysgafnhâu ac yn trymhâu bob yn ail yn ol yr arwyddion. Ni bu yr un bychan fyw ond tua phythefnos ar ol hyn. Dychwelasom mewn pryd i dalu y gymwynas olaf iddo ar y trydydd o'r mis diweddaf. Yr

oedd yn dda iawn genyf weled Mr. a Mrs. Evans yn ymgynnal mor dda o dan eu profedigaeth lem.

Boreu ddydd Mercher cychwynodd Mr. Jones a minnau am Lailyngkot. Gan ei bod wedi gwlawio mor drwm y noson o'r blaen, yr oeddym yn ofni yn fawr y byddai yr afonydd yn rhy ddyfnion i'w croesi. Pan ddaethom o fewn tua milldir i Myllim, daethom at y gyntaf o honynt. Yr oedd ei lliw yn rhy bygddu i ni allu gweled pa mor ddwfn ydoedd. Pan ddygwydd fel hyn, ein cynllun fydd anfon dyn o'n blaenau i brofi y dyfnder. Pan aeth i'r dwfr yn y rhŷd, yr oedd ar unwaith yn ddigon amlwg nas gallem groesi yno. Buom am beth amser yn chwilio am well lle, ac wedi dyfod iddo, anfonwyd dyn ymlaenaf wedi hyny. Aeth Mr. Jones trwodd ar gefn ei geffyl, yr hwn sydd yn weddol dàl a chryf; ond yr oedd yn gymaint ag a allai fy ngeffyl i wneyd i lusgo ei hun drwodd, gan mor ddwfn oedd yr afon ac mor gryf oedd y llif. Yna diosgais am fy nhraed, ac aethum ar gefn ceffyl Mr. Jones, yr hwn oedd wedi ei arwain yn ei ol i'm cyrchu, ac felly y cyrhaeddwyd yr ochr draw. Cryn helynt fu arnom droion wed'yn cyn cyrhaedd Myllim, gan nad oedd yr un o honom wedi bod yn teithio y ffordd hono o'r blaen. Yr oeddym yn dysgwyl y buasai y dynion oedd yn cludo ein pethau yn ein cyfarfod, wedi d'od o Shillong; ond nid oedd hanes am danynt yn un man. Wedi gweled nad oeddynt yn dyfod, perderfynasom aros yn Myllim. Yr athraw yn Myllim ydyw un o'r enw Kubur, un a fu dan addysg yn Nongsawlia, ac y mae yn gweithio yn rhagorol. Y mae amryw wedi dyfod yn Gristionogion yn Myllim trwy ei offerynoliaeth ef, ac y mae golwg obeithiol iawn ar yr achos yno. Cynnaliwyd cyfarfod eglwysig gyda'r ychydig aelodau sydd yno, a chafwyd cyfarfod lled dda. Boreu drannoeth buwyd yn holi yr ysgol ddyddiol. Y mae yno gryn nifer yn medru darllen Khasi, a rhai yn darllen Saesoneg yn lled rwydd.

Ddydd Iau cychwynwyd am Lailyngkot. Y mae afon o gryn faintioli ar y ffordd hon, yr hon a groeswyd yn debyg fel y croeswyd y llall y dydd o'r blaen. Wedi cyrhaedd Lailyngkot, gwelem fod ein cludwyr yno er y dydd o'r blaen yn dysgwyl am danom —wedi cymeryd llwybr arall. Yr oedd wedi myned yn rhy hwyr i ni allu cyrhaedd i un pentref arall, felly nid oedd dim i'w wneyd ond aros yno dros nos.

Drannoeth cychwynwyd am Lyngkyrdem. Am y rhan gyntaf y mae y ffordd yn lled wastad—top mynydd gwastad. Wedi myned ymlaen am tua 5 neu 6 milldir, yr ydym yn gorfod disgyn oddiar ein ceffylau, ac yn eu hanfon o gwmpas i dd'od i'n cyfarfod i lawr yn y pellder draw. Yma yr ydym yn dechreu disgyn a disgyn ar hyd un o'r llechweddi serthaf y gallech feddwl am i droed allu sefyll arno, hyd nes y deuwn i afon a elwir Wah Rew. Dyma darddiad yr afon sydd yn rhedeg i lawr i Majai o dan Cherrapoonjee, ac ar hyd pa un yr ydym yn cael ein pethau i fyny o Chuttuck. Wedi hyny y mae y ffordd yn arwain ar hyd llechweddi bryniau uchel yn agos i'w clopâu; weithiau, ar yr ochr orllewinol iddynt, yn wynebu Cherra, ac weithiau ar yr ochr ddwyreiniol, yn wynebu gwlad Jaintia. Y mae y dyfnder odditanodd ambell dro yn ddychrynllyd. Ac nid yw y ffordd yn fynych yn fwy na hanner llath neu ddwy droedfedd. Mewn ambell fan y mae y dwfr wedi bwyta o dan y ffordd fel y mae yn beryglus iddi ymollwng pan ddaw pwysau arni. Mewn lle fel hyn y bu agos i Mr. Jerman Jones golli ei fywyd tua thair blynedd yn ol. Gollyngodd y ffordd odditan y ceffyl, ac aeth y ddau i lawr; o drugaredd, darfu i'r ychydig lwyni o goed oedd yno ei attal ef a'r ceffyl rhag myned dros y dibyn oedd ychydig droedfeddi yn is i lawr. Wrth dd'od yn ol, yr oedd Mr. Jones yn dangos i mi y lle yr aethai i lawr; ac yn wir yr oedd yn ddychrynllyd ddigon; ond nid oeddym wedi myned gan' llath yn ein blaenau nad oedd fy ngheffyl innau i lawr. Wrth lwc, ei arwain yr oeddwn ar y pryd. Aeth o'r golwg mewn mynyd. Collais fy ngafael o hono trwy i'r ffrwyn dori yn fy llaw. Yn ffodus, yr oedd gwelltglas hir yn tyfu ar yr ochr serth, a dyna a'i cadwodd rhag myned dros y clogwyn. Gallwyd ei gael i fyny wedi tipyn o drafferth, trwy dori llwybr iddo ar ledtraws. Ar y cyfan, dyma y llwybr sydd yn arwain trwy y golygfeydd mwyaf arddercho g a welais erioed. Yr oedd yn arbenig felly wrth i ni ddychwelyd, gan ei bod mor glir. Cyrhaeddasom Lyngkyrdem erbyn tuag un o'r gloch. Wedi cael tamaid o fwyd, cychwynasom drachefn, gan feddwl, os gallem, gyrhaedd Kyndiar erbyn y nos. Ond gan fod ein *coolies* yn rhy flin, bu raid i ni gysgu mewn pentref o'r enw Tangjinat. Yn y fan hon cawsom dŷ mawr (o dŷ Khasi) i gysgu ynddo. Ar ol i ni gael gorphwys ychydig, dechreuwyd canu er dwyn pobl ynghyd. Dyma y gloch ymhob man i alw y bobl ynghyd, sef canu. Wedi casglu twr o bobl—gwŷr, gwragedd, a phlant at eu gilydd, dechreuodd Mr. Jones siarad â hwy am hyn a'r llall, am y grefydd Khasi, ac am drefn yr efengyl. Yr oedd erbyn hyn yn nosi, ac yr oedd y bwyd yn barod. Wedi bwyta, dechreuwyd canu drachefn, a daeth cryn nifer ynghyd; a buom wrthi ein dau, weithiau yn canu ac weithiau yn siarad, hyd nes oedd yn lled hwyr.

Boreu drannoeth cychwynasom am Mawlynnong. Yr oeddym yn gorfod gadael ein ceffylau yn Tangjinat, dan ofal dau ddyn; ond yr oedd y fath ofn bod mewn pentref dyeithr ar y bachgen oedd gyda fy ngheffyl i, fel yr oedd yn Mawlynnong cyn pen dwyawr ar ein holau. Yr oedd wedi gwneyd bargen â'r dyn arall iddo ofalu am y ceffyl am un *rupee*, ac yna rhedodd ar ein holau mewn dychryn, a chyda ni y bu yr holl ffordd. Cyrhaeddasom Mawlynnong yn gynnar ddydd Sadwrn. Cawsom gyfarfod llïosog y noson hono, a phregethwyd iddynt gan ddau neu dri o honom, bob yn ail â chanu, hyd nes oedd yn bur hwyr. Boreu Sul, cyfarfod gweddi; wedi hyny pregethu, gan fod y lle yn rhy lawn i gynnal ysgol ynddo. Yn yr ail gyfarfod ac yn y trydydd yr un fath. Ac yn yr hwyr drachefn yr un modd. Felly cafwyd pedwar o gyfarfodydd i bregethu, a chyfarfod gweddi; ac yr oedd yr ysgoldŷ mawr yn llawn bob tro. Ddydd Llun, am tuag awr, yr oeddym yn arholi plant yr ysgol; wedi hyny dechreuodd y farchnad feddyginiaeth. Parhaodd hono am tua dwy awr, Y bobl yn darlunio eu hanhwylderau, yna rhoddid meddyginiaeth iddynt. Yr oedd pawb bron yn talu rhyw gymaint am dano. Nos Lun cafwyd cyfarfod i bregethu a siarad drachefn, a'r lle yn llawn. Boreu ddydd Mawrth, cyfarfod gyda chymaint a ellid gael ynghyd o benaethiaid y pentref, i geisio egluro iddynt y fantais a ddeilliai iddynt hwy o gefnogi yr ysgol ymhob modd y gallent. Cyfarfod pur lwyddianuus oedd hwn; ac yr wyf yn credu i lawer ddechreu deall pethau na feddyliasant am danynt o'r blaen. Wedi hyny yr oedd priodas i gael ei gweinyddu. U Khersan, dyn ieuanc o Mawlynnong, oedd y priodfab, a Ka Rimai, merch Monbhoi yr athraw, oedd y briodferch. Yr oeddid wedi lladd pedwar o foch i wneyd gwledd, a bu o dri i bedwar cant wrthi yn bwyta, a bwyd da iawn ydoedd hefyd. Bwytasom ni ein dau yn helaeth o hono. Wedi i bawb gael ei wala, casglwyd hwy ynghyd, ac fe bregethodd Mr. Jones iddynt allan ar y gwastad tu ol i'r ysgol, a gwrandawodd pawb yn weddol astud.

Tua dau o'r gloch cychwynasom am *Nohwet*, a chyrhaeddwyd yno cyn iddi nosi. Nid oes llawer o amser er pan sefydlwyd ysgol yn y pentref hwn, ond y mae golwg addawol iawn arni. Cawsom gyfarfod llïosog yma eto, a buwyd yn canu ac yn pregethu iddynt am oriau. Mewn tŷ yn y pentref hwn y gwelais y *plank* lletaf a welais erioed—yr oedd dros ddwy lath o lêd, tua thair modfedd o drwch, a thua deuddeg troedfedd o hŷd. Boreu ddydd Mercher, ar ol arholi yr ysgol, buwyd wrthi yn pregethu drachefn. Yma rhoddwyd U Mane, un o *Sirdars* y rhan hon o'r wlad, i bregethu, ac "ar ei ol" U Monbhoi. Yr oedd yn boeth iawn yno—y ddau bregethwr yn chwys dyferu; ond buwyd wrthi fel hyn, weithiau yn canu, weithiau yn pregethu, hyd tua dau o'r gloch y prydnawn. Yna cychwynasom am bentref *Riwai*. Cyrhaeddasom yma tuag awr cyn y nos, a threfnwyd ar unwaith i gael pregethu allan. Darfu i U Borjai, penaeth y pentref, roddi matiau i lawr i'r bobl eistedd. Yma fe bregethodd tri, sef U Kypa Ka Hen (Shillong), U Mane, *Sirdar*, ac U Kypa U Tynrino, Mawlynnong. Yr oedd yn *treat* mewn gwirionedd glywed Mane yn gosod ar y grefydd Khasi, nes oedd yr aberthwyr yn rhoddi eu penau i lawr gan gywilydd. Mae gwareiddiad Cymru yn fy attal i roddi i chwi grynodeb o'r bregeth; ond yn sicr dyma y condemniad mwyaf *sweeping* ar grefydd y Khasi a glywais erioed, a rhoiswn lawer am allu gwneyd yr un fath; ond nis gallaf, ac y mae yn ddrwg genyf.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| O Sir Fôn, trwy law Mr. R. Davies, A.S. | 450 | 0 | 0 |
| O Chatham Street, Liverpool (ychwanegol) | 8 | 7 | 0 |
| O New York, trwy law Mr. Robert Lewis | 10 | 0 | 0 |
| Cyfeillesau yn Ysgol Bethesda, Ffestiniog | 0 | 16 | 0 |
| Lleyn ac Eifionydd, trwy law Mr. Robert Jones, U.H., Bank, Pwllheli | 200 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Mr. a Mrs. Jones, Sir Fôn, tuag at Ysbytty Dr. Griffiths yn Mawphlang | 1 | 1 | 0 |
| Eto, tuag at Gapel Jwai | 1 | 1 | 0 |
| Eto, i'w defnyddio gan y Parch. R. Evans, fel y gwel oreu er lles y gwaith | 1 | 1 | 0 |
| Oddiwrth Mrs. Mary Hughes, 9 Stanley Street, Caergybi, trwy law y Parch. W. R. Jones, Preswylfa, Caergybi | 10 | 0 | 0 |
| "A." Bettws y coed | 0 | 5 | 0 |

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, *John Griffith, Esq., Church St., Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 628.] CHWEFROR, 1883. [LLYFR LIII.

## Y DRYSORFA GYNNORTHWYOL.

GAN Y PARCH. EVAN ROBERTS, CAERNARFON.

Y MAE pob planed sydd yn olwyno yn rheolaidd yn yr eangder, er cysur iddi ei hun a dedwyddwch ei chydblanedau, yn troi ar ddau begwn hollol gyferbyniol. Felly y mae pob person sydd yn byw i bwrpas ac amcan teilwng, yn byw ar ddwy egwyddor gyferbyniol, sef hunanles a hunanaberthiad—ei les ei hun, a lles ei gyd-ddyn. Maent yn gyferbyniol, ond nid yn groes nac yn anghyson â'u gilydd. Nis gellir byw yn iawn heb gyfuno y ddau beth mewn bywyd. Os ä dyn i fyw yn hollol ar yr egwyddor o hunanles, aiff hòno yn hunanoldeb; ac os ä i fyw yn hollol ar yr egwyddor o hunanaberthiad, aiff yn hunanddinystriad. Ond y mae cyfuniad priodol o hunanles ac arall-les, yn gwneyd bywyd dyn yn fywyd dedwydd a defnyddiol.

Ar y ddwy egwyddor gyferbyniol hyn y mae holl weithredoedd Duw wedi eu seilio: ei ogoniant ei hun, a daioni ei greaduriaid. Mae hyn i'w weled yn amlwg yn ei holl weithredoedd mewn Creadigaeth, Rhagluniaeth, a Gras. Maent wedi eu cyfuno yn brydferth a'u mantoli yn briodol yn ei holl waith. Ar y ddwy egwyddor yma hefyd yr oedd bywyd hunanaberthol dihafal yr Arglwydd Iesu yn troi. Ni bu erioed y fath hunanaberthiad; ond nid oedd ei hunanaberthiad yn hunanddinystriad, eithr trwy ei hunanaberthiad, efe a gyrhaeddodd goruwch yr holl nefoedd, fel gwobr ei waith.

Dyma y ddwy egwyddor a ddylai nodweddu gweithrediadau pob cangen o'r Eglwys Gristionogol. Dylai fod â'i holl egni yn arfer pob diwydrwydd i liosogi ei hun mewn rhif, ac adeiladu ei hun mewn gras. Heb hyn, mae hi yn sicr o syrthio yn fuan i wywdra a chysgadrwydd. Ar yr un pryd, tra yn arfer pob diwydrwydd ac egni i adeiladu ei hun, dylai hefyd weithredu yn frawdol a chynnorthwyol at ei chwaer-eglwysi, neu ynte aiff yn fuan i sefyllfa grebachlyd a hunanol. Ceir fod eglwysi yn fynych yn colli yn y naill neu y llall o'r pethau hyn. Dyna un eglwys: gweithreda yn egnïol a haelionus at bob peth cartrefol a lleol; gwaria hyd at wastraff arni ei hun; ond ymddyga yn greulawn o grintach at ei chwaer-eglwysi. Nid oes ynddi ddim cydymdeimlad â neb tu allan iddi ei hun; ac felly ennilla y cymeriad gwarthus o fod yn "eglwys hunanol." Ac y mae eglwys hunanol mor wrthun a phechadurus â dyn hunanol. Ar y llaw arall, ceir rhai eglwysi yn lled haelionus at y pell a'r tramor, tra yn swrth a diog i'w llwyddiant eu hunain—mae crefydd yn gwywo gartref. Y mae y ddau ddosbarth hyna o eglwysi yn gweithredu yn anghrefyddol; a'r eglwysi sydd yn medru mantoli a chyfartalu y ddau beth yn y cydbwysedd goreu, gan droi yn rheolaidd ar y ddau begwn, sydd yn gweithredu fwyaf rhesymol, ac ysgrythyrol hefyd. Nid crefyddol "cadw gwinllanoedd eraill" ar draul esgeuluso ei winllan ei hun, ac nid crefyddol ychwaith, pan y mae "chwaer fechan," ydyw peidio gofyn, "beth a wnawn iddi?"

Yn awr, yr ydym yn dal allan fod y "Drysorfa Gynnorthwyol," fel y penderfynwyd arni gan Gymdeithasfa y Gogledd, yn gyfuniad prydferth o'r ddwy egwyddor ardderchog a nodwyd,

a phan y mae eglwysi neu bersonau yn gweithredu haelioni tuag ati, eu bod yn troi yn rheolaidd ar ddau begwn mawr y bywyd cristionogol—maent yn cario allan y ddwy egwyddor yn yr un weithred.

Nid oes dim yn fwy amlwg na bod yr eglwysi sydd yn cefnogi y symudiad hwn, yn gweithredu ar yr egwyddor o hunanles mewn modd pendant iawn. Y mae yr egwyddor hono yma yn amlwg, "A ddyfrhao a ddyfrheir;" mae dyn wrth wneuthur daioni i arall yn ei lesâu ei hun. Mae yr egwyddor hono yma yn gref, ac egwyddor ardderchog ydyw. Dywedir am ddau ddyn yn ucheldiroedd yr Alban yn croesi mynydd ar noswaith eithafol o oer a rhewllyd, i'r naill syrthio i lawr i gwsg, am fod ei waed yn fferu yn ei wythienau, ond i'w gyfaill barhâu ar hyd y nos i'w rwbio yn galed, a thrwy hyny iddo nid yn unig gadw bywyd ei gydymaith, ond hefyd ei fywyd ei hun. Sicr yw fod yr un peth yn wirionedd i raddau mawr am wahanol eglwysi. Darllenwn am ryw goedydd a dyfant mewn rhai gwledydd, os na thorir rhigolau yn eu rhisgl tew er mwyn i'r sudd redeg allan, eu bod yn gwywo oddiwrth orlawnder eu sudd eu hunain, yr hwn sydd nwydd rhagorol i oleuo lampau y trigolion. Mae llawer eglwys yn y Cyfundeb, pe byddai y drysorfa hon yn ddim ond cyfleusdra i'r gorgyflawnder o sudd cyfoeth i redeg allan yn haelioni, hi a fyddai yn fendith fawr iddynt, heblaw fod hyny yn lles i eglwysi eraill.

Ond nid dyna yr unig wêdd. Mae yna wêdd fwy uniongyrchol fyth, yn ol yr hon y mae cefnogi y drysorfa hon yn troi yn hunanles i'r eglwysi. Nid oes dim yn fwy amlwg na bod yr eglwysi lliosog yn cael eu cyflenwi yn barhâus o'r eglwysi bychain. Mae yna ffrwd barhâus o *ddynion* yn rhedeg o'r eglwysi bychain i'r eglwysi mawr yn y trefydd a'r ardaloedd poblog. Dyna sydd yn peri fod y naill yn fychain: nid oes ganddynt fodd i gadw y plant a fegir ganddynt. Dyna sydd yn gwneyd y lleill yn lliosog: eu bod yn derbyn yn barhâus o leoedd eraill. Yn awr, gadawer i'r eglwysi gweiniaid ar hyd y wlad edwino a marw o ddiffyg ymgeledd, ac i'r boblogaeth fyned i'r Eglwysi Plwyfol neu eraill y gallant gael gweinidogaeth gyson, yna bydd yr eglwysi lliosog yn fuan iawn yn eglwysi gweiniaid; bydd y cyflenwad yn peidio. Mae yn fater o hunan-amddiffyniad i'r eglwysi mawrion gynnorthwyo y rhai gweiniaid; nid yn unig i gadw y rhai presennol yn fyw, ond od oes modd i'w lliosogi hefyd, oblegid trwy hyny ychwanegir y cyflenwad.

Hefyd, y mae yn llawn mor eglur, nid yn unig fod yr eglwysi mawrion yn cael eu *lliosogi* o'r eglwysi bychain, ond hefyd eu bod yn cael eu *cyfoethogi* yn ddirfawr. Fel rheol, y dynion mwyaf galluog a thalentog a geir yn symud o'r cymydogaethau gwledig i'r trefydd a'r ardaloedd poblog, i liosogi yr eglwysi mawr; o ganlyniad, dyna y rhai mwyaf anturiaethus, sydd yn cynnyddu mewn cyfoeth; ac felly mae yr eglwysi hyn, nid yn unig yn myned yn lliosog mewn rhif, ond hefyd yn gryfion mewn gallu, tra y mae y lleill yn cael eu gadael, nid yn unig yn ychydig o nifer ond hefyd yn dlodion. Ac nid hyny yn unig. Mae yr eglwysi mawr fel hyn yn cael eu cyfoethogi, nid yn unig mewn *arian*, ond hefyd, yr hyn sydd yn fwy pwysig fyth, mewn *talentau*. Tafler golwg ar eglwysi mawr y trefydd a'r manau poblog, a gwelir heb lawer o drafferth, fod y dynion mwyaf talentog a defnyddiol o'u mewn yn ddyfodiaid o leoedd bychain gan mwyaf. Mae eglwysi bychain, fel rheol, yn well magwrfeydd nag eglwysi lliosog, am fod ynddynt fwy o gyfleusderau i arfer pob dawn; ac hefyd maent yn gorfod colli eu meibion glewaf mewn gallu a thalentau meddyliol; a dyna sydd yn rhoddi cyfrif fod nerth cyfoeth a thalent yr eglwysi mawr yn cael ei dynu o'r eglwysi bychain. Mae hyn yn ddigon i ddangos fod cefnogi y drysorfa hon yn weithred hunan-amddiffynol i'r graddau eithaf ar ran yr eglwysi cryfion. Bron na byddai eu bodolaeth yn dibynu ar hyn.

"Y mae plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth na phlant y goleuni." Ceir fod cwmnïau mawrion y rheilffyrdd yn awyddus iawn i feddiannu y mân linellau ar hyd y wlad, ac i flaenau y cymoedd, a'u bod yn eu "rhedeg" yn fynych ar y golled o ran y linellau hyn eu hunain; ond fel y mae y mân linellau yn dyfod yn *feeders* i'r *main line*, eu bod yn talu yn dda. Yr un modd y gellir dyweyd am y mater hwn: os oes traul i gynnal yr eglwysi

bychain ar hyd y gwledydd a'r cymoedd, y maent yn talu yn dda i'r Cyfundeb; oblegid o honynt hwy y ceir llawer o'i brif ddynion yn flaenoriaid a phregethwyr. Buasai yn werth i'r Cyfundeb gynnal eglwys wledig Llansanan am ganrif neu ddwy, pe buasai ond magu un "Henry Rees." Buasai yn werth cynnal eglwys Dolyddelen am ganrifoedd pe na buasai yn gwneyd dim ond codi "John Jones, Talsarn," "David Jones, Treborth," a "Cadwaladr Owen." Ac nis gwyddom ni nad oes llawer o rai tebyg eto i gael eu magu mewn llawer o'r eglwysi bychain yn mlaenau y cymoedd, sydd yn awr yn ymdrechu yn galed am eu bodolaeth. Gadawer iddynt edwino a marw; a phwy a all ddyweyd pa faint fydd y golled i eglwysi y Cyfundeb yn gyffredinol?

Dywedwn yn gryf a dibetrus, fod cefnogi y symudiad hwn yn un o'r gweithredoedd mwyaf hunanlesiol sydd yn bosibl i'r eglwysi cryfion ei chyflawni, a bod gwrthod gwneyd hyny yn un o'r agweddau mwyaf hunanddinystriol ag sydd yn ddichonadwy i synthio iddynt. Os ydynt yn dymuno cyflawni hunanladdiad eglwysig, dyma ffordd sicr, er yn araf, iddynt wneyd hyny.

Ond, ar y llaw arall, y mae y symudiad hwn yn cynnwys yr egwyddor ardderchog o hunanaberthiad, neu weithio yn anhunangar er lles eraill ac er mwyn enw Crist. Dyma egwyddor fawr y grefydd Gristionogol. Hyn sydd yn ei nodweddu, ei hynodi, a'i dyrchafu uwchlaw pob crefydd arall. Yn ngrym yr egwyddor ogoneddus hon y daeth Mab Duw i'r byd, ac i'r groes, ac a'i "rhoddes ei hun drosom." Ac y mae yr eglwysi sydd heb eu hysgogi gan yr egwyddor hon, yn amddifaid o flodau prydferthaf, ac yn ddiffygiol o ffrwythau melusaf, y grefydd gristionogol. Ië, mae peidio gweithredu ar yr egwyddor hon yn wadiad ymarferol ar Gristionogaeth ei hun, gan mai dyma ei hynodrwydd penaf.

Y mae'r symudiad hwn yn cynnwys yr egwyddor fawr o *gyfiawnder*, ac yn gyfleusdra da i eglwysi dalu eu dyled. Gan fod yr eglwysi cryfion yn manteisio cymaint ar yr eglwysi bychain mewn ffordd o ddynion, gallu, a thalentau, y mae cyfiawnder yn galw am ryw ad-daliad; a beth a all yr ad-daliad hwnw fod ond cydymdeimlad a help i gario achos crefydd ymlaen? Ond nid cyfiawnder y peth yr ydym yn ei ddadlu yn awr—er fod hon yn ddadl gref ar bobl onest—ond yr egwyddor ardderchog o hunanaberthiad; ac y mae hon yn ddadl llawn mor gref ar bobl grefyddol sydd yn meddu cariad Crist yn llosgi yn eu calon. Nid crefydd yn sicr mewn eglwysi cryfion ydyw ymddiofalhâu mewn gorlawnder o bob manteision, a gadael i'w chwïorydd gweiniaid nychu mewn tlodi a digalondid, pe na byddai hyny yn un fantais o gwbl iddynt hwy eu hunain. Mae crefydd yn galw am gydymdeimlad â'r gwan, ac ymdrech egnïol i hyrwyddo llwydd achos y Gwaredwr ymhob lle, neu ynte gwader hi o gwbl.

Ac nid oes ammheuaeth nad ydyw achos crefydd yn dyoddef yn ddirfawr mewn llawer màn pan y mae yr eglwysi heb neb i'w harwain, a'r pulpudau am Sabbothau olynol heb neb i'w llenwi, caredigion y Gwaredwr dan faich o dlodi, neu yr hyn sydd waeth fyth, o ddigalondid. Byddai ychydig o gynnorthwy nid yn unig yn *help* i'r eglwysi gweiniaid, ond hefyd yr amlygiad o gydymdeimlad yn *galondid* mawr iddynt; ac y mae eu calonogi i dynu allan eu hymadferthoedd eu hunain yn llawn mor bwysig â'u cynnorthwyo oddiallan. Mae pobl â "chalon i weithio" yn gallu gwneyd pethau rhyfedd o dan amgylchiadau pur wasgedig.

Hyderwn yn fawr y caiff holl eglwysi y Cyfundeb ddigon o ddoethineb a gras i gydweithio yn egnïol a chalonog gyda y symudiad dalonus hwn, sydd yn gyfuniad mor brydferth o egwyddorion mawr a gogoneddus Cristionogaeth. Os fel arall y bydd, rhaid fod haul llwyddiant y Cyfundeb yn dechre machludo ar Gymru.

---

## Y WEINIDOGAETH.

*Gan* Timotheus.

### I.—"BUGEILIO."

Wrth anturio dechre ysgrifenu ar destun mor gyffredin ag ydyw "Y Weinidogaeth," teimlwn i'r byw wirionedd geiriau yr hen fardd, "Difficile est proprie communia dicere."

Tybia pawb eu bod yn gwybod rhywbeth am y weinidogaeth; ac y mae llawer un nad yw yn ddigon o dduwinydd i ateb cwestiynau yr *Hyfforddwr*, nac wedi darllen nemawr ychwaneg na wynebddalen y *Cyffes Ffydd*, yn teimlo ei hunan yn ddigon cryf i anfon allan i holl daleithiau, llwythau, ac ieithoedd ei fyd, orchymynion pendant o barth i'r hyn a ddylai y weinidogaeth fod yn gyffredinol, ac ymhlith y Methodistiaid Calfinaidd yn neillduol. Fel yna gwelir fod genym, ar un llaw, i gilio ymhell oddiwrth lwybrau tyrfa y bobl ddall sydd â llygaid iddynt; ac ar y llaw arall, mae cyflawnder a chyfoeth yr hyn a ysgrifenwyd ac a ddywedwyd eisoes ar y pwnc gan rai o brif feddylwyr yr oesoedd, yn peri fod yn anhawdd iawn ychwanegu dim i fuddioldeb. Gwyddom nad oes genym ddim newydd i'w gyflwyno i'r darllenydd; oblegid credwn, yn enwedig yn y cysylltiad hwn, eiriau Solomon, "Nid oes dim newydd dan yr haul." "Real originality is rare," medd Canon Liddon, ac nid ydyw hyd yn nôd Goethe yn hòni iddo ei hun wreiddiolder; ac felly ffol fyddai i Timotheus ieuanc ymgais at yr hyn y methodd rhai o'r cedyrn ei gyrhaedd.

Pa fodd i ddechre, ac ymha le? Ai gwell fyddai myned i ardd Eden, ac oddiyno i'r dylif, ac heibio i wastadedd Mamre a Jacob yn Bethel hyd fynydd Sinai, pan y neillduir llwyth Lefi i offeiriadu ger bron yr Arglwydd? Ofnwn gymeryd y cyfeiriad yna, rhag i rywrai o dylwyth "cyhuddwr y brodyr" yn y dyddiau hyn godi baner yn ein herbyn, a bloeddio ein bod yn tueddu at olygiadau offeiriadol am y weinidogaeth. Gallasem ddechre gyda tharddiad y weinidogaeth dan y Testament Newydd, ond arswydwn rhag y ffordd hon hefyd. Gelwir gweinidogion y Testament Newydd yn "esgobion" a "henuriaid" *(presbyters)*; a hysbys yw nad ydyw y geiriau "esgob" a "henadur" yn nemawr gwell nag "anathema maranatha" yn ngolwg llawer a alwant eu hunain yn Fethodistiaid. Pa le i ddechre, ynte? Dywedir wrthym gan yr hen fardd y cyfeiriasom ato eisoes, ddarfod i Homer ddechre ei bryddest anfarwol yn nghanol ei bwnc, heb fyned i egluro ac olrhain tarddiad a natur yr amgylchiadau, ond cymeryd yn ganiataol fod ei ddarllenwyr yn gwybod yr holl hanes. Nid ydym ni yn hòni bod yn Homer, ben bardd y byd, nac hyd yn nôd y distadlaf o hiliogaeth lïosog bwystfilod yr Eisteddfod; ac nid ydym chwaith na Rabbi na mab i Rabbi; ond er hyny anturiasom gymeryd cynghor y bardd, a dechre yn nghanol ein pwnc, sef "bugeilio."

"Y fugeiliaeth" sydd, yn marn rhai, yn peri y gellir ysgrifenu Ichabod mewn llythyrenau duon uwch ben pyrth hen deml glodwiw y Weinidogaeth ymhlith y Methodistiaid, a'r "fugeiliaeth," medd eraill, yw hyny o addurn a gogoniant a fêdd yr hen Gyfundeb, a dyma ei unig obaith am y dyfodol. Gan nad pa ochr sydd iawn, hyn sydd sicr: mai yr elfen fugeiliol, ys gelwir hi, sydd yn gwahaniaethu gweinidogaeth y dyddiau presennol oddiwrth yr hyn ydoedd yn amser y tadau. Dyma galon y pwnc; dyma fan poethaf y frwydr; hwn yw tŵr y Jebusiaid, ac y mae y ddinas yn sefyll neu yn syrthio yn ol a ddygwydd i'r tŵr.

Pa fath rai oedd hen weinidogion Cymru? "Dynion anghyffredin oeddynt, wedi eu cynhyrfu a'u donio yn helaeth gan yr Ysbryd Glân. Treulient ac ymdreulient dros eneidiau eu cydwladwyr. Teithient y gwledydd, gan fod yn flin arnynt a dyoddef llawer. Gosodasent eu delw ar y wlad, ac nid anghofir byth eu llafurus gariad. Nid oeddynt hwy yn arfer pwyso ar eglwysi gweiniaid, ond cadwent fferm neu fasnach fechan, ac nid oeddynt uwchlaw gweithio â'u dwylaw i ennill eu bara beunyddiol fel pob dyn gonest,"&c. Pa fath rai ydyw y bugeiliaid presennol, attolwg? Fe'n hatebir yn fuan: Dynion cyffredin ydynt hwy, a digon balch. Buont yn y coleg am dair neu bedair blynedd yn ymdrafferthu gyda *figures, triangles* ac *x. y. z.* Dysgasant ychydig o Ladin, a gallant adrodd y pader yn y Groeg, a medr rhai o honynt lefaru yn ddysgedig am *ontology* a *transcendentalism.* Pan ddeuant allan oddiyno, arosant gartref heb ddim i'w wneyd hyd nes y bydd i ryw eglwys fechan roddi galwad iddynt yn fugeiliaid. Yno eu gwaith mawr fydd derbyn tâl am eu llafur o ddwylaw tlodion yr eglwys. Treuliant eu dyddiau i fyned oddiamgylch o dŷ i dŷ; ac nid oes odid hanesyn, ac yn enwedig enllib, yn yr holl gymydogaeth nad yw y bugail yn gwybod am dano. Cadwant gyfarfodydd gyda'r plant a'r bobl ieuainc, ac y maent yn y seiat hefyd. Pregethant yn y capel unwaith bob mis; ond O mor sych a diafael yw eu pregethau! Mewn byr eiriau,—myned oddiamgylch y tai, cadw cyfarfodydd wythnosol, a phregethu tipyn—dyma ydyw "bugeilio" yn ol tyb lïaws. Os ydyw y llinellau uchod yn ddesgrifiad cywir o rywrai a elwir yn fugeiliaid yn ein gwlad, cywilydd wyneb ydyw hyny iddynt; canys nid dyna oedd syniad sylfaenwyr y fugeiliaeth yn Nghymru, ac nid hynyna ydyw dysgeidiaeth y Testament Newydd am y swydd a'i gwaith.

Sonir yn fynych am bregethu a "bugeilio" fel dau beth gwahanol, os nad gwrthgyferbyniol. "Pregethu yr oedd y tadau, ond bugeilio y mae eu holynwyr."

Pan ddywedir hyn, teimlir ein bod yn dyrchafu y tadau ac yn darostwng y meibion. Eto gwaith ffol yw canmawl yr hyn a fu ar draul dirmygu yr hyn sydd. "Na ddywed," medd Solomon, "paham y bu y dyddiau o'r blaen yn well na'r dyddiau hyn? canys nid o ddoethineb yr wyt yn ymofyn am y peth hyn."

Mae digon o resymau call ac ysgrythyrol wedi eu dwyn ymlaen ganwaith dros y cyfnewidiad i'r drefn bresennol, fel mai nid diffyg clywed rheswm ydyw yr achos fod neb yn parhâu i'w gondemnio. Yn ychwanegol, nid oes cymaint gwahaniaeth cydrhwng bugeilio y dyddiau presennol a phregethu yr hen ddyddiau. Nid arall yw bugeilio ac arall yw pregethu, ond yr un ydynt. "Pregethwyr mawr oedd y tadau; dynion grymus mewn gair oedd cewri y dyddiau gynt;" ond dywedwn ninnau eu bod, os yn bregethwyr mawr, yn fugeiliaid mawr hefyd. Mor bell ydyw pregethu a bugeilio o fod yn ddau orchwyl gwahanol, fel mai pregethu neu ddysgu ydyw y brif ran, ac felly y fwyaf pwysig, mewn bugeilio. Anghenrhaid ydyw ymweled â'r claf, myned ar ol yr esgeuluswyr, cysuro y gwan eu meddwl, a bwrw golwg dros yr eglwys yn gyffredinol; ond y prif waith ydyw pregethu y gair. Bugeilio yn gyntaf oll ydyw pregethu yr efengyl am y deyrnas; yn ail, pregethu; ac yn drydydd, pregethu; ac yna mae'n dilyn arolygu a'r holl ddyledswyddau a ystyrir gan rai fel unig waith pwysig y bugail. Pan edrychir ar fugeilio yn y goleuni hwn, fe welir mai nid newyddbeth yn y Cyfundeb ydyw, ond cais i berffeithio yr hyn oedd yn bod o'r blaen o ran yn unig.

"Simon mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i?" medd yr Arglwydd wrth ei ddysgybl; a'r tri gorchymyn a roddodd i Pedr, ar dderbyniad ei atebiad oeddynt, "Portha fy ŵyn—Bugeilia fy nefaid—Portha fy nefaid." Yr oedd Pedr i fod o hyn allan, yn ol dull ffugyrol yr ymadrodd, â gofal defaid arno, hyny yw, yn fugail, a'r gorchymynion a osodir arno ydynt, Portha—Bugeilia—Portha. Dechreuir gyda phorthi, a diweddir gyda phorthi. Onid yw yr Athraw yn dysgu Pedr yn y modd yma, mai prif waith y bugail ydyw porthi y defaid a'r ŵyn? Dylai gryfhâu y rhai llesg, meddyginiaethu y claf, rhwymo y drylliedig, a dwyn y gyfeiliornus adref; ond cofied mai porthi ydyw'r gamp. Os caiff y ddeadell borfa frâs ganddo, ni bydd rhyw lawer o anghen cyrchu y grwydredig. Hi a ddaw adref o honi ei hun pan wêl mai yno y mae y borfa oreu. Nid gorchwyl y bugail yw rhedeg yma a rhedeg acw; holi ar ol dannodd un, ac ymofyn am anwyd y llall. Mae hyny yn eithaf gwaith i "olynwyr yr Apostolion," y rhai y mae holl rinwedd eu swyddi yn eu personau urddedig, ac nid yn y genadwri a dderbyniasant i'w llefaru. Pregethed y bugail yr efengyl gyda blâs ac arddeliad, a cheir gweled pawb yn cyrchu i'w gwrando. Porthiant da, porfa frâs, a werthfawrogir yn fwy na dim gan y praidd.

"Yr Arglwydd yw fy Mugail; ni bydd eisieu arnaf." Ystyr gyntaf bod mewn eisieu ydyw dyoddef newyn a syched. Y peth blaenaf a nodwedda y Bugail hwn ydyw, "Efe a wna i mi orwedd mewn porfeydd gwelltog; efe a'm tywys gerllaw y dyfroedd tawel." Wedi son am y borfa a'r dwfr, yna êl ymlaen i ddadgan ei ddaioni arall, "Efe a ddychwel fy enaid," &c. "Myfi yw y Bugail da," medd yr Athraw, ac am yr hwn a ddêl ato, dywed, "Efe a ä i mewn ac allan, ac a gaiff borfa." Prif waith y Bugail da, fel y dywed efe ei hun, ydoedd, "Myfi a ddaethum fel y caent fywyd, ac y caent ef yn helaethach." Pa fath rai ydyw yr is-fugeiliaid i fod? Yr addewid am danynt ydyw (Jer. iii. 15), "Ac a roddaf i chwi fugeiliaid wrth fodd fy nghalon, y rhai a'ch porthant chwi â gwybodaeth ac â deall." Y mae pob dyledswydd arall yn myned o'r golwg yn ymyl hon—porthi. Yn Ezec. xxxiv. dywedir fod gan yr Arglwydd gŵyn yn erbyn y bugeiliaid:—"Gwae fugeiliaid Israel y rhai sydd yn eu porthi eu hunain: oni phortha y bugeiliaid y praidd? Y brasder a fwytewch, a'r gwlan a wisgwch, y bras a leddwch; ond ni phorthwch y praidd." Wedi edliw iddynt eu hesgeulusdra yn porthi, adroddir yn y geiriau nesaf eu diofalwch am y praidd. Yna dilyna addewidion melus: "A dygaf hwynt allan o fysg y bobloedd, a chasglaf hwynt o'r tiroedd, a dygaf hwynt i'w tir eu hun, a phorthaf hwynt ar fynyddoedd Israel wrth yr afonydd, ac yn holl drigfanau y wlad. Mewn porfa dda y porthaf hwynt, ac ar uchel fynyddoedd Israel y bydd eu corlan hwynt; yno y gorweddant mewn corlan dda, ie mewn porfa frâs y porant ar fynyddoedd Israel. Myfi a borthaf fy mhraidd, a myfi a'u gorweddfâf hwynt, medd yr Arglwydd Dduw." Drachefn dywed, "Cyfodaf hefyd un Bugail arnynt, ac efe a'u portha hwynt, sef fy ngwas Dafydd; efe a'u portha hwynt, ac efe a fydd yn Fugail iddynt." Dan yr hen oruchwyliaeth, PORTHI y praidd oedd prif ddyledswydd y bugeiliaid. "Bydd ddyfal," medd yr Apostol wrth ei fab naturiol yn y ffydd, "i'th osod dy hun yn brofedig gan Dduw, yn weithiwr difefl, yn iawn gyfranu gair y gwirionedd." Y prawf ei fod "yn weithiwr difefl" ydyw ei fod "yn iawn gyfranu gair y gwirionedd." Gan nad beth a ddi-

chon fod ystyr fanwl y gair ὀρθοτομοῦντα *(orthotomounta)*, yr hwn a gyfieithir yn "iawn gyfranu," sicr ydyw mai meddwl yr ymadrodd yw, llafurio yn yr efengyl trwy ddysgu a phregethu. Nid oes anghen dyfynu ychwaneg i gadarnhâu yr hyn a brofwyd eisoes, mai nid dau beth gwahanol ydyw bugeilio a phregethu. Bugeilio yw Mynydd Morïah, a pregethu a dysgu ydynt y Deml sydd yn coroni ac yn gorchuddio y rhan fwyaf o'r mynydd. Pregethu a dysgu yr efengyl ydynt y ddinas brydferth a chref, a'r meusydd pentrefol ydynt y dyledswyddau eraill, megys "ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd." Tra y pery y ddinas yn gadarn a llwyddiannus, bydd llewyrch ar y meusydd pentrefol; ond os unwaith y daw tlodi a newyn i'r ddinas, anmhosibl, er pob ymdrech, fydd cadw y maesdrefi *(suburbs)* rhag myned yn adfeiliedig. Bugeilio ydyw y ddinas a'r maesdrefi—mae y ddau gyda'u gilydd i sefyll neu syrthio.

Ofnwn rhag ein bod yn ysgrifenu yn rhy awdurdodol tuag at fod yn weddus i gymeriad Timotheus; ond maddeuer i ni, oblegid gallwn ddywedyd, "Credais, am hyny y lleferais." Nid oes y fath greadigaeth yn bod â phregethwr da yn fugail gwael. Mae pregethwr da yn fugail da, er, hwyrach, ei fod yn ddiffygiol mewn ymweled ac arolygu. Pregethu yr efengyl gyda nerth ac yn eglurhâd yr Ysbryd yn y pulpud—dysgu yr efengyl yn y cyfarfodydd wythnosol—a byw yr efengyl ymhlith ei gymydogion, ydyw bugeilio. Pregethu yr efengyl syml—hyn sydd yn beth digon anhawdd—yn gofyn llafur, myfyrdod dwys, a gweddi ddyfal, cyn y gellir ei gyflawni. Hawdd ydyw tywallt allan hanesion difyr a tharawiadol, bod yn helaeth mewn godidogrwydd ymadrodd, drychfeddyliau hedegog, a barddoniaeth a gamenwir felly; ond gorchest ydyw yn wastadol allu rhoddi didwyll laeth y gair i'r rhai newydd-eni, a bwyd cryf i'r rhai perffaith. Gall y gweinidog gynnal cyfarfodydd bob noswaith trwy yr wythnos, galw yn nhŷ pob claf yn gyson, bod yn ddiwyd i fyned ar ol yr esgeuluswyr; gall fod yn llenor da, yn gantor gwych, ac fe allai hefyd yn fardd o fri; ond os nad ydyw yn llafurio i gymeradwyo ei hunan yn nghydwybodau ei wrandäwyr fel pregethwr anfonedig oddiwrth Dduw, ni theilynga y cyfryw un ei alw wrth yr enw anrhydeddus,—BUGAIL.

---

## EIN LLYSOEDD EGLWYSIG.

### II.—PWYLLGORAU Y GYMDEITHASFA.

*Gan y Parch.* J. EIDDON JONES, *Llanrug.*

Y MAE y Gymdeithasfa—a deallir mai Cymdeithasfa Gogledd Cymru a olygir genym yma—yn arfer penodi Pwyllgorau parhaol i gymeryd gofal o faterion neillduol, megys y Genadaeth Gartrefol, &c., heblaw penodi hefyd Bwyllgorau achlysurol fel y gwnaed yn ddiweddar gyda Rheolau Derbyn Pregethwyr. Y mae hyn yn fanteisiol, ac y mae pob cymdeithas y bydd ganddi waith i'w wneyd yn gweithredu yn gyffelyb. Y mae cyfansoddiad y Pwyllgorau parhaol hyn, a'r dull o'u hethol, ni a dybygem, yn haeddu ystyriaeth, yn gystal â'r gwaith a roddir iddynt i'w gyflawni. O'r cyfryw y mae 1. *Pwyllgor yr Athrofa.* 2. *Pwyllgor y Genadaeth Gartrefol.* 3. *Pwyllgor yr Achosion Seisonig.* 4. *Pwyllgor Trysorfa y Gweinidogion.* 5. *Pwyllgor y Drysorfa Gynnorthwyol.* Y mae y rhai hyn yn gofalu am faterion arianol, ynghyd a defnyddio yr arian i gyrhaedd yr amcanion y penodir hwynt iddynt. Y mae gwaith mawr a phwysig yn cael ei ddwyn ymlaen drwyddynt, ac ymdrechion egnïol yn cael eu gwneyd i gario yr amcanion allan yn effeithiol. Ymhellach y mae genym yn 6. *Bwyllgorau Gweithredoedd y Capelau* Prin, dybygem, y mae hwn wedi cael y sylw a'r lle cyfatebol i'w bwysigrwydd. Y mae yn perthyn iddo ofalu am ddiogelwch meddiannau y Cyfundeb, trwy gymhorth Pwyllgorau yn perthyn i bob Cyfarfod Misol. Diammheu fod llafur mawr yn anghenrheidiol i gael y mater hwn i drefn gychwynol, a chasglu y gweithredoedd i le diogel ymhob Sir. Wedi hyny bydd yn anghenrheidiol cael crynodeb o'r gweithredoedd ymhob Sir mewn ffurf hwylus i daflu golwg drostynt yn flynyddol, fel y galler gofalu na bydd un yn myned yn ddirym o herwydd marwolaeth yr ymddiriedolwyr neu rywbeth cyffelyb; a dylai fod copi o'r cyfryw grynodeb yn llaw ysgrifenydd Pwyllgor y Gymdeithasfa. Yna y mae eisieu gwneyd ymdrech ddoeth i ddiogelu y meddiannau sydd yn awr heb sicrwydd am danynt; a diammheu fod y Ddeddf a basiwyd y Seneddtymmor diweddaf yn llawer o gymhorth i hyn. Wedi cael y pethau hyn i drefn, yr ydym yn tybied mai trwy y Pwyllgor hwn y dylai pob cais am ganiatâd i werthu capelau, &c., ddyfod i'r Gymdeithasfa; ac fel yr awgrymwyd o'r blaen, nid ydym yn gweled un rhwystr i hyn ddyfod i ryw un Gymdeithasfa pan y mae y Pwyllgor yn cyfarfod. Gwyddom mai yr wrthddadl a allai godi ydyw, y gallai lle fod eisieu gwerthu ar adeg pan na byddo y Pwyllgor yn cyfarfod; ond nid oes un amgylchiad felly yn dygwydd na bydd yn hawdd ei ragweled fisoedd ymlaen, neu ei oedi ychydig yn hwy; ond byddai cael y mater hwn drwy y Pwyllgor fydd yn deall y cysylltiadau yn fantais bwysig i'r Gymdeithasfa.

Y mae y Pwyllgor hwn eisoes, ac yn enwedig ei Ysgrifenydd, wedi gweithio yn rhagorol, ac y mae ei weithrediadau yn haeddu llawer pwysicach sylw nag a roddwyd iddo gan y Gymdeithasfa hyd yn hyn.

Dyna yn 7. *Y Pwyllgor Dirwestol.* Nid yw hwn ond ieuanc eto, ac y mae ganddo dipyn o waith i gael y tŷ i drefn a'r peiriannau yn eu lle i weithio. Y mae y Gymdeithasfa, fodd bynag, yn ei etholiad wedi dadgan fod yma waith i'w gyflawni, ac ymddiried hyny iddo. Eto yn 8. *Pwyllgor yr Arholiad Cymdeithasfaol.* Y mae yn briodol ei alw yn Bwyllgor, er nad oes yn ei gyfansoddi ond yr arholwyr—y rhai a wnânt y gwaith, ac a ddygant adroddiad i'r Gymdeithasfa. Y mae hwn, dybygid, yn graddol lithro i ddwylaw y Gymanfa Gyffredinol, ac nid yw yn annhebyg mai yn y Gymanfa hono yr ordeinir cyn hir. Ymhellach yn 9. *Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol.* Y mae amser wedi bod pryd y byddai yr Ysgol Sabbothol yn cael sylw blynyddol yn Nghymdeithasfa Rhagfyr yn y Gogledd, a phregeth yn cael ei thraddodi ar y mater. Mae hyn wedi ei golli; a dichon y buasai yn fwy effeithiol pe buasai Pwyllgor i drefnu rhyw wêdd ar y mater i'w ddwyn ger bron y Gymdeithasfa. Yn Nghymdeithasfa Mehefin, 1880, yn Nolgellau, cyflwynwyd i ystyriaeth o gyfarfod y blaenoriaid "y priodoldeb o benodi Cyfeisteddfod yr Ysgol Sabbothol mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa hon." Cymeradwywyd y genadwri ar y pryd, ond ni wnaed dim byth. Y mae Pwyllgor o'r fath yn perthyn i'r Gymanfa Gyffredinol, a phwyllgorau i fod ymhob Cyfarfod Misol mewn cysylltiad âg ef; ac nid yw yn amlwg iawn pa le y safai Pwyllgor perthynol i'r Gymdeithasfa cydrhyngddynt. Pa fodd bynag, y mae yr Ysgol Sabbothol yn ddigon pwysig i ni wneyd a allom er ei chael i sylw, ac yr ydym yn mawr obeithio fod cyfnod newydd o'i blaen tuag adeg ei chanmlwyddiad.

Y mae rhai materion eraill hefyd yn cael eu dwyn ymlaen heb bwyllgorau. Y mae gan y Gymdeithasfa Ystadegydd. Nid oes ganddi Bwyllgor arianol; ond yn ngofal Cyfarfod y Blaenoriaid y mae Trysorfa y Gymdeithasfa, ac y mae yn bosibl fod gan y Cyfarfod hwnw Bwyllgor i gymeradwyo pob taliad a wneir o honi. Ond gadewch i ni gymeryd golwg arall eto. Oni fyddai yn deilwng a phriodol iawn i'r Gymdeithasfa gael ychydig o hamdden weithiau i ystyried sefyllfa crefydd yn ei gwedd ysbrydol yn y Dalaeth, y rhinweddau i'w meithrin, y diffygion i'w gochel, a'r "gwirionedd presennol" i alw sylw ato? Y mae symudiadau yr oes, yn foesol a chymdeithasol a chrefyddol, yn teilyngu sylw. Ac onid yw hyn yn fater a ddylai gael ystyriaeth cydymgyfarfyddiad o swyddogion ein Cyfundeb? Iä, onid yw hyn yn fwy hanfodol amcan i'r Gymdeithasfa nag hyd yn nôd ei materion allanol? Dyna amrywiol ranau o'n gwlad wedi profi cynhyrfiad crefyddol, ac y mae rhyw wers i'w thynu oddiwrth hyny. Mae y *Salvation Army* yn cynhyrfu Lloegr, ac nid oes un Undeb Eglwysig na Chymanfa nad yw yn cymeryd rhyw sylw o honi; ac a ddylai ein Cymdeithasfa dewi? ac yn enwedig oni ddylai y mater sydd o'r tu cefn gael ystyriaeth, sef pa fodd i ddwyn yr efengyl a'i hesgeuluswyr at eu gilydd? Y mae y materion hyn yn ymagor i feusydd ëang iawn, ac yn meddu y pwysigrwydd mwyaf. Y mae yr holl enwadau crefyddol yn dechreu deffroi yn awr i weled mai yn eu gallu i wneyd y gwaith hwn y gorwedd eu llwyddiant yn y dyfodol; ac y mae anghen am i Fethodistiaeth Gymreig fod yn deall yr amseroedd, a gwybod beth a ddylai Israel ei wneuthur. A pha fodd y gwneir hyn? Nis gwyddom am ddim gwell nag i'r Gymdeithasfa benodi Pwyllgor o blith y dynion doethaf a mwyaf craffus i gymeryd hamdden i ystyried a thrafod y materion, a dwyn awgrymiadau ger bron y Gymdeithasfa. Oddiar ystyriaeth o'r materion hyn hefyd, byddai y Pwyllgor hwn y mwyaf cymhwys i ddewis materion i'w trin yn y *society* wyth o'r gloch y dydd olaf, ac yn nghyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid ar wahân yr ail ddydd. A goddefer i ni awgrymu mai gwelliant yn y cyfarfodydd hyn oll fyddai penodi rhywun ymlaen llaw i agor y mater—ei *agor* yr ydym yn ei feddwl yn fyr a phwrpasol—nid ymdrin arno na'i ddyhysbyddu. Y mae yn dda genym weled fod y llywydd presennol (y Parch Dr. O. Thomas), wedi cychwyn yn yr iawn gyfeiriad trwy gael mater wedi ei benodi ymlaen llaw i Gyfarfod y Pregethwyr, ac y mae y blaenoriaid hefyd er ys amser yn gwneyd ymgais gyffelyb. Ond cam ymlaen eto a fyddai fod y materion hyn yn dyfod o Bwyllgor wedi bod yn sefyll yn ystyriol uwch ben agwedd crefydd yn y wlad, fel pynciau yn galw am sylw ac ystyriaeth. Gyda hyn hefyd, gellid dwyn materion i sylw cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid gyda'r amcan o gael cynllun neu awgrymiadau i'r Gymdeithasfa. Gellid tybied nad oes dim i fod ond athrawiaethu yn y rhai hyn; ond ni byddai niwed yn y byd iddynt fod yn gyfarfodydd ymgynghori a chynllunio yn achlysurol. Mae lle ac amser i'r cyfarfodydd hyn, ac y mae eisieu gwneyd y defnydd goreu o honynt.

Cyfeiriasom at ddull etholiad y Pwyllgorau. Yn y cyffredin cynnwysant gyn-

nrychiolwyr wedi eu dethol yn arbenig dros y Cyfarfodydd, Misol, gydag ambell eithriad fod y cynnrychiolydd arferol i'r Gymdeithasfa yn cael ei benodi i fod ar ambell i Bwyllgor, am y tro neu am yr adeg y bydd yn gynnrychiolydd. Yn ddiweddar, penododd y Gymdeithasfa rai brodyr ar Bwyllgorau yn ychwanegol at gynnrychiolwyr y Cyfarfod Misol—egwyddor, os nad ydym yn camgymeryd, nad oedd yn arferol, ond a deilyngai fwy o sylw. Y mae lle cryf i gredu mai prin y mae cyfansoddiad fel hyn i'r Pwyllgorau yn foddhaol. Ac y mae amrywiaeth mawr ynddynt. Etholir Cyfarwyddwyr y Genadaeth Gartrefol bob dwy neu dair blynedd —y Pwyllgor Dirwestol am flwyddyn—Pwyllgor Gweithredoedd y Capelau yn ddigyfnewid (am a wyddys)—Athrofa y Bala bob tair blynedd—Cronfa y Gweinidogion, i gynnwys yr Ysgrifenydd a'r Trysorydd, ymhob Cyfarfod Misol, ac un arall, a'r oll i'w newid neu eu hailddewis bob blwyddyn; ac felly ymlaen. Y mae rhan o rai pwyllgorau yn myned allan bob blwyddyn, gan gyfnewid y cwbl mewn tair blynedd. Y mae yr amrywiaeth hwn yn ddyryslyd iawn, ac yn bur anhawdd ei gadw mewn trefn; a pha anghenrheidrwydd all fod am dano, gan mai i'r un Gymdeithasfa y perthynant oll? Dylai fod ganddi ei threfn reolaidd o ethol pwyllgorau, ac fod oes benodedig i bob un o honynt, fel y byddai yn hawdd i bawb ddeall pa fodd a pha bryd yr etholir hwynt Y mae gwahaniaeth mawr yn eu nifer. Cynnwys rhai dri o bob Cyfarfod Misol, eraill ddau, ac eraill ddim ond un. A yw gofalu am Drysorfa y Gweinidogion yn fwy pwysig na threfnu moddion gras i bobl goror Clawdd Offa, neu ofalu am yr Achosion Seisonig? Y mae y drefn hon hefyd yn peri fod nifer mawr yn dyfod ynghyd ar rai adegau i'r Gymdeithasfa ar y dydd cyntaf, ac weithiau cyn hyny, pan y byddo amryw bwyllgorau yn cyfarfod yn yr un Gymdeithasfa. Y mae felly yn gyffredin yn mis Mehefin. Dyna Gyfeisteddfod y Gymdeithasfa yn cynnwys 50 o aelodau, Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol 16, yr Achosion Seisonig 30—y cyfan yn 82. Yr oedd yn Llanidloes yn 1881, 78 o wahanol gynnrychiolwyr, &c., yn bresennol o leiaf; a dechreuasai y Pwyllgor cyntaf am bump o'r gloch ddydd Llun, a gorphenai y Gymdeithasfa ddydd Iau. Y mae hyn yn faich pwysig ar y lle sydd yn cynnal y Gymdeithasfa, heb sôn am amledd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid yr ail ddydd o'r Gymdeithasfa. Y mae yn ddiammheu fod yn dda gweled cynifer o frodyr yn cael rhan yn ngwaith y Gymdeithasfa; ond y mae ystyriaeth o'r holl amgylchiadau yn peri i ni feddwl mai da fyddai cymedroli ychydig ar hyn. Nid yw mor hawdd, pa fodd bynag, gweled y ffordd yn glir pa fodd i wella, ac y mae yn debyg na byddai un cynllun heb anhawsderau.

Tybiwn y gallai rheol fel hyn weithio: Fod i'r Gymdeithasfa ddewis nifer penodol, dyweder chwech neu saith o bersonau ar bob pwyllgor, a bod y rhai hyny i fod yn aelodau am dair blynedd. Yna, pan ddeuai adeg cyfarfyddiad y Pwyllgor yn y Gymdeithasfa, fod i nifer o'r cynnrychiolwyr yn y Gymdeithasfa hono (hyd y gellir, un o bob Cyfarfod Misol) gael eu dethol gan y Cadeirydd a'r Ysgrifenydd, i fod gyda'r brodyr uchod yn eistedd ar y pwyllgor am y tro, gan adael y gweddill o'r cynnrychiolwyr ar Gyfeisteddfod y Gymdeithasfa; a bod y Pwyllgor i eistedd ar unwaith â'r Cyfeisteddfod hwnw, ond mewn man gwahanol. Mewn gair, cynnwysai hyn fod Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa ar y pryd yn cael ei ranu: un rhan gyda'r gwaith arferol, a'r lleill ar y Pwyllgor neu y Pwyllgorau, gyda'r ychwanegiad atynt o'r rhai fyddo yn barhâus ar y Pwyllgor o benodiad y Gymdeithasfa. Gwnelai hyn Gyfeisteddfod y Gymdeithasfa yn llai o nifer nag yw yn awr, ond ni byddai yn waeth er hyny; y mae gormod mor anfanteisiol â rhy fach, a gormod yw y Cyfeisteddfod hwn yn awr. Wrth gwrs, gellid gwneyd rhyw waith arbenig, megys ethol swyddogion y Gymdeithasfa, cyn ymranu. Rhoddai hyn fodd i'r Gymdeithasfa sicrhâu cynnorthwy y rhai sydd trwy gynnefindra a hir wasanaeth wedi dyfod yn golofnau ynddi; byddai lle i'w penodi gan y Gymdeithasfa ei hun ar y Pwyllgorau. O'r tu arall, cai y cynnrychiolwyr waith i'w wneyd gyda'r cyfryw, a byddai y cyfuniad, ni a dybiem, yn iachus. Nid ydym heb weled gwrthwynebiadau cryfion i'r dull hwn, ond ar y cyfan y mae genym feddwl ei fod yn welliant. Byddai yn cynnwys mai y Gymdeithasfa ei hun fyddai yn penodi ac yn cyfansoddi ei phwyllgorau. Y mae rhywbeth yn anghydnaws, os nad yn wrthun, mewn fod y Cyfarfodydd Misol yn eu penodi. Beth feddylid pe byddai raid i'r siroedd ethol aelodau chwanegol i wneyd Pwyllgorau seneddol? oni fyddai yn wrthun? Nid yw yr elfen hon, sydd wedi ymlusgo i mewn, yn Fethodistaidd, na Chynnulleidfäol, na dim; a byddai y Siroedd yn cael eu cynnrychioli yr un modd ar y Pwyllgorau ag y gwneir yn awr. Byddai rhanu, mae yn wir, ac ni byddai yn bosibl i'r un rhai fod ar bob peth; ac nid oes eisieu hyny—ceid y rhai cymhwysaf i'w lle eu hunain.

Y mae eisoes dipyn o drefn gydag amseriad cyfarfyddiad y Pwyllgorau mwyaf pwysig; a buddiol fyddai myned ymhell-

ach gyda hyn, fel ag i rannu y gwaith rhwng y Cymdeithasfäoedd, a rhoi dan Bwyllgor ymhob Cymdeithasfa. Dyweder—Pwyllgorau Gweithredoedd y Capelau a Thrysorfa y Gweinidogion i gyfarfod yn Nghymdeithasfa'r Gwanwyn—y Genadaeth Dramor a'r Achosion Seisonig fel yn bresennol yn Mehefin—y Drysorfa Gynnorthwyol a'r achos Dirwestol yn Medi—a'r Ysgol Sabbothol, a'r mater newydd a nodasom, yn mis Rhagfyr. Byddai Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa felly yn cynnwys oddeutu 22 o bersonau, a'r ddau Bwyllgor arall o ddeunaw i ugain bob un; ac y mae hynyna yn ddigon o nifer, yr ydym yn credu. Nid ydym yn hòni anffaeledigrwydd, ond yn awgrymu ffrwyth ein meddwl; gallai arall hwyrach gael cynllun gwell.

---

## RHODIO YN NGOLEUNI YR ARGLWYDD.

*Gan y Parch.* RICHARD HERBERT, *Bethlehem, Sir Fynwy.*

ESAIAH ii. 5: "Tŷ Jacob, deuwch, a rhodiwn yn ngoleuni yr Arglwydd."

YMA, yn y cyd-destynau, y mae Esaiah trwy ysbryd prophwydoliaeth, yn rhagweled ac yn rhagfynegu llwyddiant a chynnydd gwir grefydd dan oruchwyliaeth y testament newydd. "A bydd yn y dyddiau diweddaf, fod mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei barotoi ymhen y mynyddoedd, ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau." Wrth y dyddiau diweddaf y meddylir dyddiau y Messïah, dyddiau yr efengyl, dyddiau goruchwyliaeth y testament newydd, yr hon yw goruchwyliaeth ddiweddaf gwir grefydd. Wrth "fynydd tŷ yr Arglwydd" yn llythyrenol, y meddylir y mynydd ar ba un yr oedd tŷ yr Arglwydd wedi ei adeiladu, y mynydd ar yr hwn y safai teml yr Arglwydd; y lle yr oedd pobl yr Arglwydd yn ymgynnull i'w addoli yn ol ei air a'i ordinhadau; lle yr oedd yr Arglwydd yn preswylio ymhlith ei bobl, yn egluro ei ogoniant ac yn rhoddi arwyddion er daioni o'i ffafr a'i ewyllys da iddynt. Ond y mae mynydd y tŷ i'w ddeall yma yn allegol neu ysbrydol am yr achos mawr ag oedd yn y mynydd; achos gwir grefydd, eglwys ac achos Duw. Er y byddai gwir grefydd dan yr efengyl mewn gwêdd newydd, mewn ffurf a threfn wahanol i'r hyn ydoedd y pryd hwnw, eto yr un a fyddai o ran sylwedd. Wrth fod mynydd tŷ yr Arglwydd "wedi ei barotoi," neu ei sicrhâu "ymhen y mynyddoedd, ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau," y meddylir y deuai achos gwir grefydd i fwy o fri, fel ag y byddai yn nyddiau ei goruchwyliaeth ddiweddaf yn rhagori mewn gogoniant ar bob peth a welwyd ar y ddaear erioed. "A'r holl genedloedd a ddylifant ato;" at fynydd y tŷ, at Dduw yn ei dŷ. Dylifant yn llu mawr, ac yn llawn awydd, fel afon gref. Byddai pob gwahaniaeth o ran cenedl wedi ei ddiddymu dan yr efengyl, pob rhwystr wedi ei symud o'r ffordd, a dyfodfa rydd i'r Cenedlddyn yn gystal ag i'r Iuddew at Dduw ac i'w dŷ; a byddai i laweroedd o bob cenedl dderbyn a defnyddio y rhagorfraint. "A chenedloedd lawer a ânt;" nid, meddyliant am fyned, neu a addawant fyned, neu a ddywedant y dymunent fyned, ond a ânt. A chymaint fydd eu zel fel nad ymfoddlonant ar fyned eu hunain, ond cymhellant eraill i fyned gyda hwynt. "Deuwch," meddant, "ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd, ac i dŷ Duw Jacob." A dangosant wirionedd eu tröedigaeth a'u dychweliad trwy eu gostyngeiddrwydd a'u parodrwydd i gymeryd eu dysgu, a'u penderfyniad i roi eu dysg a'u gwybodaeth mewn ymarferiad: "Efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd, ac ni a rodiwn yn ei lwybrau ef; canys y gyfraith a ä allan o Sïon, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." Y gyfraith a'r gair fyddai y moddion i gasglu y bobloedd ynghyd; yr efengyl yr hon a bregethwyd ymhlith yr holl genedloedd, gan ddechre yn Jerusalem; i'r Iuddew yn gyntaf, ac hefyd i'r Groegwr. "Ac efe a farna rhwng y cenedloedd." Yr Arglwydd Crist a esyd ei deyrnas i fyny, ac a arfera ei awdurdod ymysg y cenedloedd. Nid yn unig efe a rydd gyfreithiau iddynt, fel y gwna breninoedd eraill, ond efe a wna yr hyn nas gall breninoedd eraill ei wneyd; efe a oleua eu meddyliau, ac a ddeffry eu cydwybodau, gan orchfygu a chyfnewid eu calonau, a threfnu eu bucheddau. "Ac a gerydda bobloedd lawer." Naill ai efe a'u darostwng hwynt trwy ei air a'i Ysbryd, gan eu hargyhoeddi o bechod, neu ynte efe a'u dyfetha trwy dywallt ei farnedigaethau ar ei elynion anghymmodlawn, y rhai a wrthwynebant lwyddiant ei deyrnas ef. "A hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaewffyn yn bladuriau; ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Dyma effeithiau yr efengyl yn yr holl rai a'i derbyniant mewn gwirionedd. "Heddwch, heddwch, i bell ac i agos." Pan fydd teyrnas y Messïah yn llenwi y byd, bydd heddwch ar yr holl ddaear. Mae yn debyg mai yn raddol y cyflawnir yr addewidion hyn; ond fe'u cyflawnir oll yn eu hamser.

Wedi rhagfynegu cynnydd a llwyddiant gwir grefydd dan ei goruchwyliaeth ddiweddaf ymysg y Cenedloedd, yn y testun y mae'r prophwyd yn annog tŷ Jacob i

ddyfod ymlaen i gyfranogi yn y dedwyddwch, "Tŷ Jacob, deuwch, a rhodiwn yn ngoleuni yr Arglwydd." Os had Jacob yn ol y cnawd a feddylir, fe allai fod y prophwyd yn rhagweled y byddent hwy yn hwyrfrydig i dderbyn crefydd eu tadau yn ei ffurf newydd, a phan y derbynid crefydd yr efengyl gan y Cenedloedd, y byddai yr Iuddewon yn dueddol i dramgwyddo a chilio yn ol. Gan hyny, mae'r prophwyd yn eu hannog i ochel rhag gwrthod y goleuni ag oedd yn llewyrchu mor danbaid fel ag yr oedd y cenedloedd tywyll yn ei ganfod. Ond os wrth dŷ Jacob y meddylir ei had ysbrydol, Israeliaid yn wir, yna y mae'r testun yn rhagfynegiad o'r hyn a wnaent hwy,—rhodio yn ngoleuni yr Arglwydd, fel y dywed Micah, "Canys yr holl genedloedd a rodiant bob un yn enw eu duw eu hun, a ninnau a rodiwn yn enw yr Arglwydd ein Duw byth ac yn dragywydd." Ond pa fodd bynag y cymerir y geiriau, maent yn cynnwys annogaeth i'r rhai a fendithiwyd â moddion gras, ac â manteision ac ordinhadau gwir grefydd, ymddwyn yn addas ac yn gyfatebol i'w breintiau. Oddiwrth y testun, sylwn ar y goleuni y sonir yma am dano, ac ar yr ymddygiad ag sydd yn addas tuag at y goleuni.

I. Y GOLEUNI Y SONIR YMA AM DANO.

Mae pawb sydd â llygad ganddynt i weled yn gwybod rhywbeth am y goleuni naturiol; gwyddant ei fod yn beth hyfryd, dymunol, a thra defnyddiol. A'r Arglwydd a bïau y goleuni hwnw; efe a'i lluniodd ac a'i gwnaeth. Efe a wnaeth y goleuadau yn ffurfafen y nefoedd, yr haul, y lleuad, a'r ser, i oleuo ar y ddaear; a phan y mae yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, nid peri i haul rhywun arall godi y mae, ond ei haul ei hun. Ond er mai yr Arglwydd bïau y goleuni naturiol, nid hwnw a olygir yma wrth oleuni yr Arglwydd, ond goleuni ysbrydol, goleuni i oleuo llygaid y meddwl, goleuni i'r galon. Ac y mae hwn yn eiddo Duw mewn modd arbenig. Yn yr Ysgrythyrau sanctaidd y mae Duw ei hun yn cael ei alw yn oleuni. Y mae yn oleuni ynddo ei hun ar gyfrif ei burdeb, ei sancteiddrwydd, ei ragorolrwydd, a'i anfeidrol hawddgarwch. "Goleuni yw Duw, ac nid oes ynddo ddim tywyllwch." Y mae yn oleuni o ran y cyfraniad o bob gras, daioni, a dedwyddwch i'w bobl. "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw, yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant; ni attal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith." Drachefn, y mae Iesu Mab Duw yn oleuni: "y gwir oleuni, y goleuni, goleuni y byd." Y mae yn oleuni ynddo ei hunan fel Person Dwyfol; dysgleirdeb gogoniant y Tad, gwir lun ei Berson ef. Ac y mae yn oleuni yn ngweinyddiad ei swydd gyfryngol er iachawdwriaeth ei eglwys, fel y mae yn hysbysu y Tad, yn egluro a hysbysu ei enw, yn dadguddio ei gariad a'i ras a'i ddaioni i'w bobl. "Delw y Duw anweledig" ydyw. Nid yn unig ei ddelw hanfodol, ond ei ddelw arddangosol. "Goleuni i oleuo y Cenedloedd, a gogoniant ei bobl Israel."

Ymhellach, y mae gair Crist yn oleuni. "Canwyll yw y gorchymyn, a goleuni yw y gyfraith, a ffordd i fywyd yw ceryddon addysg." "Gorchymyn yr Arglwydd sydd bur, yn goleuo y llygaid." "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybrau." Mae y gair yn foddion gwybodaeth, gras, a chysur.

Eto: y mae gwir ganlynwyr Crist yn oleuni. "Chwi yw goleuni y byd." "Ymysg y rhai yr ydych yn dysgleirio megys goleuadau yn y byd, yn cynnal gair y bywyd;" ei gynnal mewn athrawiaeth a buchedd. Mae cyflwr y saint ar y ddaear yn gyflwr o oleuni, "rhyfeddol oleuni;" a'u hetifeddiaeth yn y byd a ddaw fydd mewn tragywyddol oleuni. "Llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwyfwy hyd ganol dydd." Eu haul ni fachluda.

Ond mi feddyliwn mai wrth oleuni yn y testun y golygir crefydd y gwir Dduw; gwir grefydd yn yr oll o honi, fel y dadguddir hi yn yr efengyl a'i hordinhadau. Pan mae yr efengyl yn dyfod i wlad neu ardal, mae goleuni mawr yn ymddangos "i lewyrchu i'r rhai sydd yn mro a chysgod angeu, i gyfeirio eu traed i ffordd tangnefedd."

Goleuni yr Arglwydd yw y goleuni sydd yn yr efengyl.

1. *Goleuni oddiwrth yr Arglwydd.* "Gyda thi y mae ffynnon y bywyd; yn dy oleuni di y gwelwn oleuni." Tybir gan rai fod ffynnon y bywyd yma yn cyfeirio, nid at ffynnon o ddwfr, ond at yr haul fel ffynnon goleuni a gwres. Gyda Duw mae y ffynnon o ba un mae y goleuni wedi tarddu. Ië, o hono ef y mae pob goleuni sydd yn yr efengyl. Efe a feddyliodd am ei threfn, efe a'i cynlluniodd ac a'i dangosodd. Trefn ei ras, ei gariad, ei ddaioni, a'i ddoethineb ef ydyw. Trwy bechod yr oedd wedi myned yn ddigon tywyll ar ein byd ni, yn dywyllwch marwolaeth. Ond Duw o'i rad drugaredd a ymwelodd â ni godiad haul o'r uchelder.

2. *Goleuni yn dangos yr Arglwydd.* Dyma y trysor sydd yn yr efengyl, a hwn sydd gan ei gweinidogion, â pha un y maent yn cyfoethogi llawer: "Goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn ngwyneb Iesu Grist." Canys "Hyn yw y bywyd tragywyddol,—adnabod yr unig wir Dduw, a'r hwn a ddanfonodd efe, Iesu Grist."

Mae tragywyddol allu a Duwdod i'w canfod yn y greadigaeth, ac y mae doethineb a daioni i'w gweled yn ngoruchwyliaethau rhagluniaeth; ond yn yr efengyl y mae holl briodoliaethau Duw yn ymddangos gyda digyffelyb ogoniant; trugaredd a gwirionedd, cyfiawnder a heddwch, yn cydgyfarfod ac yn ymgusanu. "I *ddangos* ei gyfiawnder ef—fel y gallai *ddangos* rhagorol olud ei ras — fel y byddai yn *hysbys* fawr amryw ddoethineb Duw—fel y *gwypoch* beth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuag atom ni y rhai ym yn credu." Wele oleuni yn dangos yr Arglwydd; yn ei ddangos yn Dduw cyfiawn ac achubydd—yn Dduw parod i faddeu, yn Dduw y cariad a'r heddwch, yn Dduw pob gras, yn Dduw yn Nghrist, yn Dduw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yn ein bendithio ni â phob bendith ysbrydol. Cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef ymhob man allan o Grist; ond yn Nghrist a'r efengyl y mae yn peri i'w holl ddaioni fyned heibio o flaen pechaduriaid, gan drugarhâu a thosturio wrth y neb y myno. Yma, yn yr efengyl, y mae yr Arglwydd yn cael ei ddangos yn oleuni ac yn iachawdwriaeth. Mynegu gogoniant Duw yr ydys wrth bregethu yr efengyl. Trwy yr efengyl y mae bywyd ac anllygredigaeth wedi eu dwyn i oleuni.

3. *Goleuni yn arwain at yr Arglwydd;* i'w heddwch, i'w ffafr, i'w gymdeithas, i w dŷ a'i wasanaeth, ac i'w nefoedd byth. "Anfon dy oleuni a'th wirionedd, tywysant hwy fi, ac arweiniant hwy fi i fynydd dy sancteiddrwydd, ac i'th bebyll; yna yr af at allor Duw, at Dduw hyfrydwch fy ngorfoledd, a mi a'th foliannaf ar y delyn, O Dduw, fy Nuw." Y mae goleuni yr Arglwydd yn y ddeddf yn peri i'r troseddwr euog ffoi oddiwrtho, fel Adda yn ceisio ymguddio rhagddo; ond y mae ei oleuni yn yr efengyl yn oleuni tyniadol. "Cenedloedd hefyd a rodiant at dy oleuni, a breninoedd at ddysgleirdeb dy gyfodiad." Y mae yn oleuni sydd yn arwain at yr Arglwydd. Y mae yr amser yn dyfod "i gasglu yr holl genedloedd a'r ieithoedd; a hwy a ddeuant ac a welant fy ngogoniant; a gosodaf yn eu mysg arwydd, ac anfonaf y rhai diangol o honynt i Tarsus, Affrica, a Lydia, y rhai a dynant mewn bwa; i Italia, a Groeg, i'r ynysoedd pell, y rhai ni chlywsant son am danaf, ac ni welsant fy ngogoniant; a mynegaf fy ngogoniant ymysg y Cenedloedd. A hwy a ddygant eich holl frodyr o blith yr holl genedloedd yn offrwm i'r Arglwydd, ar feirch, ac ar gerbydau, ac ar elorau meirch, ac ar fulod, ac ar anifeiliaid buain, i'm mynydd sanctaidd, Jerusalem, medd yr Arglwydd, megys y dwg meibion Israel offrwm mewn llestr glân i dŷ yr Arglwydd." Trwy anfon rhai i fynegu ei ogoniant, a thrwy osod arwydd neu faner oleu yr efengyl yn eu mysg, y mae yr Arglwydd yn casglu y Cenedloedd ato; a thrwy yr efengyl yr arweinir ac y dygir yr holl frodyr o blith yr holl genedloedd yn offrwm i'r Arglwydd, i'w fynydd sanctaidd Jerusalem. Dyma amcan yr efengyl: casglu a chrynhoi ynghyd, a dwyn pechaduriaid adref at Dduw.

4. *Goleuni yn tebygoli i'r Arglwydd.* Mae goleuni yr efengyl yn newid y rhai sydd yn ei derbyn yn grediniol i ddelw Duw. "Nyni oll âg wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megys gan Ysbryd yr Arglwydd." Pan y mae yr efengyl yn cael ei derbyn yn grediniol, mae hi yn effeithio er sancteiddio, glanhâu, a phuro. Y mae yn gwisgo ei derbynwyr mewn prydferthwch sancteiddrwydd. Mae yr Arglwydd yn gwisgo goleuni fel dilledyn; ac y mae ei eglwys, y rhai a gesglir ato trwy yr efengyl, ac a olchir â'r olchfa ddwfr drwy y gair, fel gwraig wedi ei gwisgo â'r haul, yn dwyn delw ei Phriod. Mae yr efengyl yn eu dwyn i rodio yn y goleuni.

II. Yr ymddygiad ag sydd yn addas tuag at y goleuni: "Rhodio yn ngoleuni yr Arglwydd."

Mi feddyliwn fod hyn yn cynnwys, 1. *Dyfod i'r goleuni.* Ymadael â'r rhai ffol — ymwrthod â gweithredoedd anffrwythlawn y tywyllwch—troi oddiwrth eilunod—cefnu am byth ar deyrnas y tywyllwch—gwynebu i deyrnas anwyl Fab Duw; dyna ddyfod i'r goleuni. "Canys pob un a'r sydd yn gwneuthur drwg sydd yn casâu y goleuni, ac nid yw yn dyfod i'r goleuni, fel nad argyhoedder ei weithredoedd ef. Ond yr hwn sydd yn gwneuthur gwirionedd sydd yn dyfod i'r goleuni, fel yr eglurhaer ei weithredoedd ef, mai yn Nuw y gwnaed hwynt."

2. *Derbyn y goleuni;* derbyn tystiolaeth Duw am ei Fab—derbyn y gair, nid fel gair dyn, ond fel y mae yn wir yn air Duw; derbyn y cymmod — ufuddhâu o'r galon i athrawiaeth yr efengyl; derbyn yr efengyl—credu yn ei Gwrthddrych mawr, y gwir oleuni. "Eto ychydig enyd y mae y goleuni gyda chwi; rhodiwch tra fyddo genych y goleuni, fel na ddalio y tywyllwch chwi; a'r hwn sydd yn rhodio yn y tywyllwch, ni ŵyr i ba le y mae yn myned. Tra fyddo genych oleuni, credwch yn y goleuni, fel y byddoch blant y goleuni." Tra mae genych yr efengyl, a Christ yn cael ei bregethu i chwi, credwch hi, derbyniwch ef, fel y byddoch blant y goleuni. Y mae yr Iesu yn dyweyd, "Goleuni y byd ydwyf fi; yr hwn

a'm dilyno i, ni rodia mewn tywyllwch, eithr efe a gaiff oleuni y bywyd." "Y dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef." Ond yr hwn sydd ysbrydol, yr hwn sydd yn rhodio yn y goleuni, sydd yn ei deall ac yn ei derbyn.

3. *Defnyddio y goleuni;* ei ddefnyddio i feddiannu a mwynhâu bendithion y goleuni, bendithion gras y bywyd—y bywyd ac anllygredigaeth sydd wedi eu dwyn i oleuni trwy yr efengyl, ymofyn am gymmod a chymdeithas â Duw. "Os rhodiwn yn y goleuni, megys y mae efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas â'n gilydd; a gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu oddiwrth bob pechod." Rhodio yn y goleuni, ïe, byw yn nghanol y goleuni, fyddai byw yn y meddiant a'r mwynhâd o heddwch tuag at Dduw, a chymdeithas âg ef. Defnyddio y goleuni yn briodol yw ei ddefnyddio i ymofyn am gyfranogi o fendithion gras ac iachawdwriaeth, bendithion bywyd tragywyddol; defnyddio y goleuni i gyflawni dyledswyddau y goleuni—dyledswyddau y dydd, trwy gymhorth gras. Ymarfer â phob moddion o Ddwyfol osodiad, cyflawni pob dyledswydd, gwneyd pob peth er gogoniant i Dduw. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da, ac y gogoneddont eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Rhodio yw hwn yn weddus megys wrth liw dydd; bwrw oddiwrthym weithredoedd y tywyllwch, a gwisgo arfau y goleuni; gwylio a bod yn sobr; rhodio yn y goleuni megys ag y mae efe yn y goleuni; byw yn sanctaidd megys y mae efe yn sanctaidd; byw mewn pob sanctaidd ymarweddiad a duwioldeb; rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd; rhodio yn nghyfraith yr Arglwydd, rhodio yn ol y rheol hon; rhodio a boddloni Duw; rhodio yn llewyrch ei wyneb. "Yn llewyrch dy wyneb, O Arglwydd, y rhodiant hwy." Rhodio yn ngoleuni yr Arglwydd ydyw gwerthfawrogi a defnyddio manteision crefyddol, ac ymofyn am fwynhâd o'r brasder sydd ynddynt, er ein dedwyddwch ni, ac er gogoniant i Dduw trwy Iesu Grist.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, dysgwn,

1. I foliannu Duw am ei drugaredd yn anfon ei air a'i efengyl atom, ac yn rhoddi ordinhadau gwir grefydd yn ein plith. Pan y mae cenedloedd eraill yn filoedd ar filoedd â'r tywyllwch a'r fagddu yn eu gorchuddio, heb air Duw yn eu hiaith, heb sain efengyl yn eu gwlad, heb fantais i wybod ffordd iachawdwriaeth, y mae Duw wedi cyfodi goleuni arnom ni, a'i ogoniant a welir arnom. Mor briodol y gallwn ddyweyd,

"Diolch i ti yr Hollalluog Dduw,
Am yr efengyl sanctaidd;
Pan oeddym ni mewn carchar tywyll, du,
Rhoist ini oleuni nefol."

2. Gochelwn wrthwynebu a gwrthod y goleuni. Y mae rhai yn casâu y goleuni ac yn caru y tywyllwch, ac yn dewis ac yn cyflawni gweithredoedd y tywyllwch. Gweithredoedd anfuddiol, anffrwythlawn, yw gweithredoedd y tywyllwch ymhob man; ond yn ngwlad goleuni efengyl y maent yn fwyaf niweidiol. Mae y goleuni, pan y gwrthodir ef, yn achlysur i fwyhâu y drwg, i drymhâu y gosb, ac i chwanegu y trueni. Mae gwrthod y goleuni yn cynnwys dirmyg ar Dduw yn ngwyneb yr amlygiadau rhyfeddaf o'i ogoniant. A hon yw y ddamnedigaeth drymaf o bob damnedigaeth, yr hon a weinyddir am gasâu a gwrthod y goleuni, a charu a dewis y tywyllwch. Mae casineb rhai at y goleuni yn ymddangos mewn esgeulusdod o holl foddion goleuni. Mae eraill yn dyfod i'r moddion, ond heb iawn ddefnyddio eu manteision; ïe, er gorfoleddu dros amser mewn rhywbeth yn amgylchiadau gweinyddiad y moddion, mae'r galon yn parhâu heb ei chyfnewid a'i sancteiddio, a'r cwbl yn myned yn ofer yn y diwedd. Beth yw hyn ond derbyn gras Duw yn ofer? ïe, gwaeth nag ofer, yn arogl marwolaeth i farwolaeth. Peth ofnadwy, enaid, fydd cael dy daflu i'r tywyllwch eithaf o wlad y goleuni! "Plant y deyrnas a deflir i'r tywyllwch eithaf; yno y bydd wylofain a rhincian dannedd." Pan y bydd llawer yn dyfod o eithafoedd y ddaear i eistedd yn nheyrnas Dduw, y rhai a gawsant lai o fanteision, pa fodd y gelli di oddef bod wedi dy gau allan? Rhyw bagan tlawd, fe allai mai traethodyn bychan a ddaeth i'w law, ac efe a welodd wawr yn hwnw a dynodd ei sylw; craffodd arno, ac arweiniwyd ef at Iesu ac at Dduw—gweled hwnw yn ngwlad y goleuni tragywyddol, a thithau, wedi darllen y Bibl drosodd a throsodd, ac wedi clywed ugeiniau a channoedd o'r pregethau goreu, yn y tywyllwch eithaf, lle na welir goleuni byth!

3. Ystyriwn yr anghenrheidrwydd am oleuni tufewnol yn gystal â goleuni allanol. Er fod y goleuni allanol yn y gair a'r efengyl sydd yn dyfod atom yn gosod rhwymau chwanegol arnom i Dduw, a bod gwrthod y goleuni y pechod gwaethaf, a'r gosb am dano y gosbedigaeth drymaf, eto aros yn ngwlad colledigaeth a wna y pechadur, tra y llwydda anghrediniaeth a duw y byd hwn i gadw y goleuni o'r galon. Dyma amcan mawr y diafol "yn dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw," "rhag iddynt gredu

a bod yn gadwedig. Dyma fel y mae yn llwyddo i gadw ei neuadd yn ei feddiant ac mewn heddwch, trwy ei gadw yn dywyll. Ond pan y mae Duw, yr hwn a orchymynodd i oleuni lewyrchu o dywyllwch yn y dechreuad, yn llewyrchu i'r galon, pan y mae arfau ein milwriaeth yn nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr, gan fwrw dychymygion i'r llawr, a phob uchder sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, y mae yn peri i ni oruchafiaeth yn Nghrist; mae y fuddugoliaeth yn troi o du yr efengyl, a'r pechadur yn cael ei gaethiwo i ufudd-dod Crist. Y mae yn cael ei droi o'r tywyllwch i'r goleuni, a'i symud o feddiant Satan at Dduw, o deyrnas y tywyllwch i deyrnas anwyl Fab Duw. Y mae gan Fab Duw awdurdod i ddyweyd "wrth y carcharorion, Ewch allan; wrth y rhai sydd mewn tywyllwch, Ymddangoswch." Ac y mae ei Ysbryd yn gallu symud y gorchudd oddiar y galon, a rhoi goleuni tufewnol yn yr enaid yn gystal â goleuni allanol yn y gair. Gan hyny, tra y cydnabyddwn Dduw yn ddiolchgar am oleuni y gair a'r efengyl, ein gweddi a fyddo ato a'n dysgwyliad wrtho am oleuni ei Ysbryd, i'n gwneyd yn oleu y tu fewn yn gystal âg oddiallan.

"Llewyrcha i'n c'lonau ni â'th ras,
Fel byddo 'n gas in' bechu,
Ac ini mewn sancteiddrwydd rhydd
Bob dydd dy wasanaethu."

4. Gwyn eich byd y rhai y mae eich llygaid yn gweled, y rhai ydych yn rhodio yn ngoleuni yr Arglwydd. Hi a fu yn ddigon tywyll ar rai o honoch cyn hyn tua mynydd Sinai, lle yr oedd cwmwl, a thywyllwch a thymhestl; ond pan yr oedd wedi cau a thywyllu o bob man, wele wawr o drugaredd rad, yn ngwyneb Iawn, gwawr tragywyddol ddydd. Ac er iddi dywyllu dros dymmor lawer gwaith wedi hyny, nid ä hi yn dywyllwch eithaf arnoch byth. "Ni fachluda dy haul mwyach, a'th leuad ni phalla; o herwydd yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragywyddol, a dyddiau dy alar a ddarfyddant." Mynegwch rinweddau yr Hwn a'ch galwodd allan "o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef." Nid oedd dim dyled arno i wneyd, ond felly y rhyngodd bodd yn ei olwg Ef. Deuwch chwithau â'ch aberth diolch; rhwymwch yr aberth â rhaffau hyd wrth gyrn yr allor; canys "Duw yw yr Arglwydd, yr hwn a lewyrchodd i ni." Y mae eich bod yn rhodio yn y goleuni yn awr yn ernes y cewch rodio yn y goleuni byth. Etifeddiaeth y saint yw eich etifeddiaeth, ac etifeddiaeth "yn y goleuni" yw hono. "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul na'r lleuad i oleuo ynddi; canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i gogoniant hi ydyw yr Oen."

"O am nerth i dreulio 'm dyddiau
Yn nghynteddau tŷ fy Nhad,
Byw yn nghanol y goleuni,
Tywyllwch obry dan fy nhraed;
Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol
Pur y croeshoeliedig Oen."

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD II.

*Dechreuad Gofidiau.*

Ebe fy mam wrthyf un diwrnod,—

"'Rwyt ti'n dechre myn'd yn fachgen mawr, a fedra' i ddim fforddio, y byd sydd o honi, dy gadw i redeg ac i rampio. 'Roedd dy frawd wedi dechre yn y gwaith glo cyn bod yn dy oed di o blwc, a mae dy ieuengach di yn ennill 'u tamed bob dydd, mi wranta. Ond be' fedri di neyd ni wn i ddim, ac ni wn i ddim. Ac mae'n arw o beth i ti fod â dy ben yn y gwynt yn yr oed yma, a dy fam yn ddim gwell na gweddw, os cystal. 'Dwyt ti ddim yn gry', mae hyny yn ddigon plaen, ne' i'r gwaith glo y cawsit ti fyn'd yn syth; 'dwyt ti ddim digon o slaig i fod yn siopwr, a bydaset ti, 'does gen' i ddim i roi o dy flaen. O ble cawn i bump neu ddeg punt i dy brentisio, os gwn i? Bydase deg swllt yn dy osod yn y siop ore yn dre', wn i ddim i b'le y baswn i yn troi fy mhen i edrach am danyn nhw. Ac eto rhaid i ti feddwl am neyd rhwbeth at dy damed. Mae dy draed ymron ar lawr, ac yr wyt yr un fath â'r ci, yn gwisgo yr un siwt dydd Sul a dydd Llun; a bydaet ti ond yn ennill digon i roi am dy gefn, mi fydde hyny yn rhwbeth. Mae'r enllyn mor ddrud, a chyflog dy frawd mor fychan, fel mai cymin fedra i neyd ydi cael y ddeupen ynghyd, a chynnilo ambell geiniog at yr achos. A mi synet ti yn arw bydae ti yn gwbod gymin y mae dy fam yn orfod bendroni a dyfeisio i gadw pethe yn wastad, achos fel y bydde Tomos o'r Nant yn deyd,

"Mae llawer sgil i gael Wil i'w wely."

A bydae y streic yma y mae nhw'n sôn am dano yn y gwaith yn dwad, wn i ddim be ddoe o honon ni. Ond gobeithio y cawn ni fodd i fyw yn onest, beth bynag a ddaw. Hyd yn hyn, diolch i'r Llywodraethwr mawr, yr ydan ni wedi gallu talu'n ffordd yn rhyfedd, er gorfod byw yn galed. Ond weles i erioed ddaioni o gadw plant yn rhy hir heb ddechre gweithio; dydi o ddim ond eu swcro i neyd drwg.

"Dydw i ddim yn ame na fedrwn i berswadio James Pwlford y teiliwr i dy gymyd di ato. Ond dyn digon disut ac anystyriol ydi yntau, ac yn amal iawn yn meddwi; a mae gen' i ofn na chae dy ened di ddim chware teg; a dyna ydi'r pwnc mawr wedi'r cwbwl. Mi fydde yn well gen i dy weled yn swip simdde duwiol nag yn glerc y pês annuwiol. Hwyrach y deydet ti y bydde y plant yn gwaeddi ar dy ol, 'Teiliwr tene, clogs heb sane.' Wel, gad iddyn' nhw; thore nhw mo dy esgyrn di, a mi fydde dy gefn di yn sych ar bob tywydd, a mi fydde gynat ti drâd yn dy law. Mi fydde yn well gen' i dy weld yn deiliwr nag yn was ffarmwr. Mae'r hin ne rwbeth arall yn stiffio ac yn rhewi eu heneidie yn gystal a'u haelode nhw, goelia i; a mae bod hefo'r nifeliaid o hyd yn eu gneyd nhw yn debyg ryfeddol i'r nifelied. Weles i yn 'y mywyd bobol mor ddifynd, a llai o'r dyn ynyn nhw, fel y bydd dy frawd yn deyd, ag ydi'r gweision ffarmwrs yma. Mae nhw rwfodd fel slâfs, ac yn rhy swil i godi 'u pene ond yn y stabal ac ar ddiwrnod troi am y gore. 'Roedd gen i biti drostyn nhw y nosweth 'roeddwn i yn y Faenol. 'Roedd hi yn nosweth oer a gwlyb; a phan ddôth y dynion druain i mewn i'w swper, yn wlyb sopan dail domen, 'roeddan nhw yn mynd at y bwrdd hir hwnw, wyddost, wrth y ffenest, ymhell oddiwrth y tân. 'Roedd yno gryn chwech o honyn nhw, goelia i; ac 'roeddan nhw yn dwad i'r tŷ mor ddystaw, ac yn eistedd ar y ddwy fainc sydd o bobtu'r bwrdd â'u pene i lawr, gan edrach dan eu cuwch yn union fel bydase nhw wedi bod yn lladrata trwy'r dydd, ac nid yn gweithio yn galed mewn baw a gwlybaniaeth. A ddeydodd yr un o honyn nhw air o'i ben. Yr unig beth a glywn i oedd swn bwyta potes, a mi ddarfyddodd hwnw yn glèc; ac am rhw chwarter mynyd 'roeddan nhw yn edrach dan eu cuwch ar lygad yr hwsmon; a phan rôth hwnw yr arwydd dyna dipyn o swn traed a symud meincie, ac allan â nhw druain drachefn yn un rhes. 'Roedd gen i biti o 'nghalon drostyn nhw. 'Doeddan nhw ddim fel dynion rwfodd. Ac yr oeddwn i yn meddwl ar y pryd fod dau o honyn nhw yn aelode yn yr un eglwys â Mr. Williams eu meistar, ac un o'r ddau, Aaron Parri, yn ŵr hynod iawn ar 'i linia. 'Roedd yn ddrwg iawn gen i weled ffasiwn ddustans rhwng y meistar a'r gweithiwr. Chreda i byth fod y Gwaredwr yn leicio peth fel yna.

"Ond dyna oeddwn i mynd i ddeyd: ddymunwn i ddim ar gownt yn y byd i ti fod yn was ffarmwr. Yr ydw i bron a dechre meddwl fod Bob dy frawd yn 'i le, ac fod tipyn o ddysg yn beth digon handi ond peidio cael gormod o hono fo. Bydase ti wedi cael tipyn chwaneg o ysgol, faswn i'n hidio pluen a gofyn i'r hen Abel dy gymyd di ato i'r siop. 'Does bosib ar ol yr holl gwêntans y base fo yn fy ngwrthod i. Ond waeth tewi am hyny rwan. Yr oedd Thomas Bowen yn deyd wrtha i, wrth ddwad o'r seiat, fod yn hen bryd i ti gael dy dderbyn yn gyflawn aelod, a mi leiciwn dy weled di yn dwad ymlaen os wyt ti wedi styried y mater. 'Rwyt ti yn medryd y bennod o'r *Ffordddwr* mi wn, ac wedi dysgu es talwm y pennodau o'r Efengylau sydd yn rhoi hanes ordeiniad y swper. Ond y mae eisio i ti, fy machgen, weddïo am gael tueddu dy feddwl at hyny, rhag i ti ddwad ymlaen yn annheilwng. Mi fydde yn dda gan y 'nghalon i gael dy brentisio wrth yr alwedigaeth nefol cyn dy brentisio wrth yr hen fyd yma. Mae bod yn fore dan yr iau yn ganmil gwell na phleser gau."

Dywedodd lawer yn ychwaneg; ac, yn wir, gallai fy mam fyned ymlaen yn y *strain* yna am ddiwrnod cyfan. Yr oedd yn amlwg i mi fod yr amser wedi dyfod pryd yr oedd yn rhaid i mi feddwl am ennill fy mara. Yr oeddwn yn fwy o hen ben nag y tybiai fy mam fy mod, a gwyddwn fwy am ei helynt a'i thrafferth yn cael y ddeupen ynghyd nag a ddychymygai hi. Teimlwn fy nghalon yn llosgi gan awydd i'w helpu. Dibynem yn hollol, ein tri, ar yr hyn a ennillai Bob, yr hwn, er ei fod yn gweithio yn galed, nad oedd prin yn cael digon i'w gynnal â bwyd a dillad, pe cawsai chwareu teg. Yr oedd y farchnad lo yn lled fywiog, ond yr oedd haid o swyddogion a goruchwylwyr estronol a rheibus yn ngwaith y "Caeau Cochion" yn pocedu, yn bwyta, ac yn yfed yr holl fael, a'r gweithwyr a'u teuluoedd truain yn gorfod darnlewygu. Yr oedd Bob yn un o'r gorthrymedigion; ac yr oedd yn amlwg i mi er ystalm fod ei ysbryd wedi sori drwyddo, ac fod rhyw eiddigedd cyfiawn yn cael ei ddirwasgu yn ei fynwes, yr hwn ryw ddiwrnod a fynai dori ei argaeon. Deallwn oddiwrth siarad plant rhai o'r glowyr fod Bob yn ddyn lled bwysig ymhlith ei gydweithwyr—mai efe oedd y cadeirydd mewn cyfarfod a gynnaliwyd beth amser cyn hyny i ystyried y priodoldeb o ofyn am godiad yn y cyflogau,

a'i fod wedi siarad "yn iawn." Teimlwn yn falch o hono, ac nid heb achos; oblegid cymerodd lawer o boen erof fi. Byth ni flinai yn fy nghyfarwyddo yn y peth yma a'r peth arall, ac yr wyf o dan fwy o ddyled iddo ef nag un dyn byw am y cyfeiriad a gymerodd fy mywyd. Mae yn wir ar ol iddo gael ei ddiarddel o'r seiat na byddai yn son wrthyf am grefydd, nac am bynciau crefyddol os na soniwn i wrtho ef. Ond pa wybodaeth bynag arall a allai efe ei chyfranu i mi, hyd y medrai, ni bu yn ol o wneyd hyny. Bu raid i mi wneyd addewid ddifrifol iddo lawer gwaith nad awn yn golier, hyd yn nôd pe buasai raid i mi fyned i gardota. Dichon mai y gorthrwm a'r trahausder annyoddefol yr oedd ef ei hun yn brofiadol o hono a barai iddo ofyn am hyny oddiwrthyf. Ond ni fuasai raid iddo fod mor daer; nid oedd ynof yr awydd lleiaf am fyned i'r "gwaith." Yr oedd cwynion beunyddiol Bob am y caledwaith a'r gorthrwm wedi creu adgasedd anghymmodlawn ynof at y lofa.

Heblaw hyny, yr oeddwn yn dirgel goleddu yr awydd am fod yn bregethwr, ac yr oeddwn yn meddwl fod pellder mawr o waelod y pwll i'r pulpud. Dichon fod y syniad yn un ynfyd, ond tybiwn y buasai yn hawddach dringo i'r pulpud o bobman nag o'r pwll glo. Ni wyddai un creadur byw am yr awyddfryd hwn oedd ynof, ac yr oedd arnaf arswyd i neb ddyfod i wybod. Wrth i mi droi fy meddwl yn ol, a cheisio esbonio i mi fy hun pa beth oedd yr "achos cynhyrfiol" o'r awydd am fod yn bregethwr, nis gallaf mewn modd yn y byd roddi cyfrif am dano; a buasai yn dda genyf gael profiad rhai eraill a fu yn yr un sefyllfa a mi, os bu rhywun hefyd. Rhaid i mi addef mai nid y gwir gymhelliad ydoedd, sef, awydd gwneyd daioni, a throi pechaduriaid o gyfeiliorni eu ffordd; oblegid nid oedd hyny, yn y cyfnod yr wyf yn son am dano, wedi cael lle yn fy meddwl. Yr wyf yn tueddu yn gryf i gredu mai math o edmygedd o'r pregethwr ydoedd, os nad rhywbeth gwaeth, sef uchelgais balch; canys yr wyf yn cofio fy mod yn dychymygu fy hunan yn ddyn mawr tew (yr hyn na fum byth), yn llon'd pulpud o ddyn, ac yn pregethu yn hwyliog, a'r bobl yn gwrando arnaf am eu bywyd, ac yn son am danaf ac yn fy nghanmawl ar ol y bregeth. Gwnawn gam â fy hanes pe dywedwn nad oeddwn yn gwybod rhywbeth am argraffiadau crefyddol. Ar ol yr holl drafferth a gymerasai fy mam gyda mi, buasai yn wyrth ymron i mi fod heb deimlo argraffiadau felly. Gwyddwn lawer o amser cyn hyn am fynydau difrifol, ac am ofni pechu yn erbyn Duw a marw yn annuwiol. Ond nis gallaf roddi cyfrif pa beth a greodd y fath awydd angerddol ynof, a hyny pan nad oeddwn ond hogyn, am fod yn bregethwr. Mae yn edifar genyf hyd heddyw na buaswn wedi amlygu i fy mam yr hyn a lechai yn fy nghalon, nid yn unig am y buasai hi yn rhoddi pob croesaw a magwraeth i'r awydd, ond hefyd am y teimlaf fy mod wedi ei hamddifadu o'r pleser a'r llawenydd mwyaf a allaswn ei estyn iddi yn ei thrafferthion chwerw. Gwn na fuasai yn bosibl i mi roddi mwy o lawenydd yn nghwpan ei dedwyddwch nag wrth fynegu iddi fy mhenderfyniad i fod ryw ddiwrnod yn bregethwr. Ond cedwais y cyfan i mi fy hun. Nid wyf yn gwenieithio i mi fy hun, nac yn adrodd ond ffaith syml, pan ddywedaf fy mod y pryd hyny yn fwy difrifol na'm cyfoedion; ac er y teimlwn i'r byw oddiwrth watwareg Wil Bryan pan y galwai fi "y sanctaidd," yr oeddwn yn ymwybodol fod genyf amcan cuddiedig oddiwrtho, yr hyn nad allai ei ddeall ac nad oedd ganddo y cydymdeimlad lleiaf âg ef. Cymerwn ddyddordeb neillduol ymhob pregethwr, ac nid oeddwn byth yn blino siarad am yr urdd bregethwrol os cawn rywun i siarad â mi.

Drwy ymroddiad parhâus, a chynnorthwy Bob, yr oeddwn yn fwy o ysgolaig nag y tybiai fy mam fy mod. Gallwn ddarllen ac ysgrifenu Cymraeg a Saesoneg yn ganolig. Yr oeddwn er ys amser, ar gymhelliad John Joseph yn y cyfarfod plant, yn arfer ysgrifenu y testynau ar y Sabboth, a chymaint ag a allwn o benau y bregeth. Cof genyf fy mod yn ddig iawn wrth rai pregethwyr am nad oeddynt yn rhanu eu testynau, ac hefyd fy mod yn hoff iawn o William Hughes, Abercwmnant, am fod penau ei bregeth yn lled gyffelyb pa destun bynag a gymerai. Yr oeddynt yn gyffredin yn dri o ran nifer, ac yn rhedeg rywbeth yn debyg i hyn: I. Y gwrthddrych a nodir. II. Y weithred a briodolir. III. Y ddyledswydd a gymhellir. Pan fyddai W. Hughes yn rhagymadroddi, byddwn yn fynych yn rhagweled y rhaniadau, ac wedi eu hysgrifenu cyn iddo eu henwi. Yr oedd gan yr hen bregethwr un arferiad a barai i mi synu yn aml ei fod heb gael ei alw i gyfrif am dano. Tua diwedd ei bregeth, byddai bob amser yn dyweyd, "Un gair arall cyn terfynu." Siaradai gant neu chwaneg o eiriau. A dywedai drachefn, "Un gair eto cyn i mi'ch gadel," a llefarai bump neu ddeg mynyd. A dywedai y drydedd waith, "Un gair arall cyn i mi gilio o'r ffordd," a llefarai yn hir ar ol dyweyd felly. Synwn sut yr oedd efe, ag yntau yn bregethwr, heb gael ei alw i gyfrif am ddyweyd anwiredd. Byddai Wil Bryan yn cymeryd esgus oddiwrth hyn yn fynych i ddyweyd yr hyn nad oedd wir.

Canmolid fi gan John Joseph am adrodd penau'r bregeth, yr hyn a fyddai yn fy moddhâu yn fawr. Tua'r cyfnod yr wyf yn son am dano, darfu i John Joseph sefydlu cyfarfod gwŷr ieuainc i'r dyben o roddi gwersi mewn elfenau cerddoriaeth a grammadeg; ac yn fuan iawn tyfodd i fod yn gyfarfod i adrodd am y goreu, i gystadlu mewn ysgrifenu traethodau, ac i ddadleu ar bynciau crefyddol. Cynnwysai y gymdeithas amryw aelodau; ond y mae arnaf ofn eu henwi rhag i mi orfod adrodd eu hanes oll. Yr oedd Wil Bryan yn aelod; ond anfynych y cymerai efe ran yn y gweithrediadau cyhoeddus. Ei hoff waith oedd gwneyd gwawd o'n camgymeriadau a'n diffygion. Ymhyfhaodd Wil yn y gwaith hwn nes gwneyd ei hun yn adgas gan y mwyafrif o'r gwŷr ieuainc; a phenderfynasant, os oedd modd yn y byd, gael gwared o hono. Wil oedd yr unig un o'r aelodau a droai ei wallt oddiar ei dalcen; ac mewn cyfarfod rheolaidd pasiwyd penderfyniad nad oedd neb i fod yn aelod o'r gymdeithas a fyddai yn euog o wneyd Q. P.; ac yn ganlynol esgymunwyd ef. Nid oedd Wil yn gofalu dim am hyny; ond i dalu y pwyth am y sarhâd hwn, rhoddodd Wil lysenw ar ein cymdeithas, gan ei galw yn "Gymdeithas gwallt i lawr;" ac fel y rhelyw o'i lysenwau glynodd yr enw hwn wrthi tra y bu mewn bod. Pa fodd bynag, cefais i a llawer eraill les dirfawr oddiwrth y "Gymdeithas gwallt i lawr." Gadawodd argraffiadau ar ein meddyliau na ddilewyd byth mo honynt, a chreodd ynom chwaeth at bethau crefyddol a llenyddol nad allwn byth fod yn ddigon diolchgar am dani.

Yn fuan wedi i Wil gael ei ddiarddel o'r gymdeithas, dygwyd ei enw ef a minnau ac eraill o flaen y seiat fel ymgeiswyr am gyflawn aelodaeth. Thomas Bowen y pregethwr a ddygai ein hachos ymlaen. Byddai efe bob amser yn zelog yn mhlaid ieuenctyd yr eglwys, ac yn ofalus iawn am beidio eu gadael yn rhy hir heb eu cyflawn dderbyn. Cymhellai yn feunyddiol y rhieni i wasgu y peth at feddyliau eu plant, ac i'w parotoi gogyfer â'r amgylchiad. O'r ochr arall, siaradai Abel Hughes ar y gochelgarwch oedd yn anghenrheidiol i, a'r perygl o, dderbyn rhai yn gyflawn aelodau cyn iddynt fod yn addfed o ran eu profiad a'u gwybodaeth. Gan fod y pregethwr a'r blaenor fel hyn yn byw yn yr eithafion, dygwyddai ambell i ffrwgwd rhyngddynt. Yr oedd Thomas Bowen er ys peth amser yn son am i ni ddyfod ymlaen, ac Abel Hughes yn cymhell pwyll ac arafwch. O'r diwedd Thomas Bowen a orfu; ac un noswaith galwyd ni i ddyfod ymlaen ar y fainc ar ganol llawr y capel i gael ein holi. Yr oeddwn i a'm cyfoedion yn awyddus am ddyfod ymlaen; ond buasai yn well gan Wil Bryan gael ei adael yn llonydd. Diammheu ei fod yn ofni yr arholiad, gan nad oedd yn cymeryd ond ychydig ddyddordeb mewn pynciau crefyddol, er ei fod o ran galluoedd naturiol uwchlaw i ni oll. Os wyf yn cofio yn dda, chwech oedd ein nifer; ac eisteddwn i ar un pen i'r fainc, a Wil ar y pen arall, ac edrychai efe yn hollol ddidaro. Cododd Abel ar ei draed, gan ddechre fy holi i yn gyntaf. Gwasgodd yn lled drwm arnaf, ond daethum trwy y prawf yn well nag y dysgwyliaswn. Gwyddwn ar sŵn a golwg Thomas Bowen fy mod yn ateb yn foddhaol; oblegid gwenai, symudai ei goesau y naill dros y llall, amneidiai ar Hugh Bellis, a dywedai, "Ho!" "Hym!" ar ol pob atebiad, fel pe buasai yn dyweyd, "Go lew, wir." Aeth Abel ymlaen gyda'r ddau fachgen nesaf ataf, a chafodd yr un boddlonrwydd. Yna eisteddodd i lawr, ac annogodd Thomas Bowen i fyned ymlaen gyda'r tri eraill. Cododd Thomas Bowen ar ei draed, rhoddodd ei ddwylaw yn mhoced ei *drowsers*, edrychodd yn foddhaus, a chyn myned ymlaen trodd at Abel, ac ebe fe—"Wel, Abel Hughes, gawsoch chi'ch plesio? Ydw i ddim yn *right*, tybed, fod y bechgyn yn eithaf parod i gael eu derbyn? Ydw i ddim wedi d'eyd hyny er ys misoedd? Ond ni a awn ymlaen."

Ac felly yr aeth ymlaen gan holi y pedwerydd a'r pummed. Meddyliwn nad oedd Thomas yn holi mor galed âg Abel, ac atebai y bechgyn yn rhwydd. Pan gaffai efe atebiad lled dda, troai Thomas at Abel, ac edrychai yn ei wyneb yn awgrymiadol, fel pe buasai yn dyweyd, "Be ydach chi'n feddwl o ryw ateb fel yna, Abel? neiff o'r tro?" Yn y man daeth tro Wil Bryan i gael ei holi, ac ebe Thomas wrtho,—"Wel, William, 'y machgen i, 'rwyt ti dipyn hynach na'r bechgyn eraill yma; a mi ddylaset ti fod wedi dy dderbyn er's talwm yn ol 'y meddwl i; ond y mae rhywrai yn credu fod eisio cymeryd pwyll. Wna i ddim dy holi di'n galed, er y gwn pe gwnawn i y medret ti ateb yn burion. Wnei di dd'eyd wrtha i, William, y 'machgen i, pa sawl swydd sydd yn perthyn i'r Arglwydd Iesu fel Cyfryngwr?"

"Tair," ebe Wil.

"Ho!" ebe Thomas, "Tair! ydach chi'n clywed, Abel Hughes? Tair! Bydase Dr. Owen ei hun yma, fase fo ddim yn gallu ateb yn well! Mae'r bechgyn yn gwybod mwy o lawer nag yr ydach ch'i yn meddwl, Abel Hughes. Dydi'r cyfarfod plant a'r cyfarfod arall ddim wedi bod yn ofer, welwch ch'i. Mae'r bechgyn yn gwrando ac yn sylwi mwy nag ydan ni yn ei dybied, yn sicr i ch'i. Yr ydw i bob

amser yn d'eyd hyny. Ië siwr, 'Tair.' Wel, William, 'y machgen i, wnei di eu henwi nhw?"

"Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân," ebe Wil. Chwarddodd amryw dros y capel. Edrychodd Thomas Bowen fel pe buasai rhywun wedi ei daro yn ei wegil â gordd, ac eisteddodd i lawr mewn cywilydd a siomedigaeth, gan edrych ar flaenau ei esgidiau heb ddyweyd dim ond "Hym!"

"Ewch ymlaen, ewch ymlaen, Thomas Bowen," ebe Abel yn fywiog; ond Thomas ni chymerai arno ei glywed. Nis gwn pa un ai drygioni ai anwybodaeth a barodd i Wil ateb fel y gwnaeth; oblegid yr oedd yn ddigon cellweirus ac yn ddigon diofal i fod yn euog o'r naill neu y llall. Gwn y credai Abel Hughes nad oedd yn bosibl i Wil fod mor anwybodus ag yr awgrymai ei atebiad; a siaradodd yn hallt âg ef, ac, fel cerydd arno, annogodd yr eglwys i dderbyn y pump o honom yn gyflawn aelodau, gan adael Wil nes y byddai yn addfetach ei wybodaeth a'i brofiad, yr hyn a basiwyd yn unfrydol.

Ond nid oedd Wil yn gofalu dim am yr hyn a gymerasai le. Ar ol myned allan o'r cyfarfod, chwarddai yn galonog, a dywedai nad oedd ef eisieu bod yn gyflawn aelod; ac ar yr un pryd meddai, "'Roedd hi yn *job* dda nad oedd yr hen law a'r hen baunes yn y seiat," gan gyfeirio at ei rieni. Y noswaith hono daethum i deimlo yn fwy nag erioed fod rhywbeth yn ddiffygiol iawn yn nghymeriad Wil Bryan, ac eto yr oeddwn yn ei garu yn fawr. Nid cynt yr oeddem allan o'r capel nag y cymerodd afael yn fy mraich, gan ddywedyd wrthyf, "Gad i ni fyn'd i gyfarfod y *colliers*." Ni wyddwn i gymaint a bod cyfryw gyfarfod i fod, ond rywfodd gwyddai Wil am bob cynnulliad pobloedd. Gan na thybiwn fod unrhyw niwed mewn myned, aethum gydag ef.

Cyfarfod yn yr awyr agored ydoedd. Yr oedd yn noswaith hyfryd yn yr haf; a phan oeddym yn nesâu at y fan, clywem sŵn mawr a bloeddio "Clywch! clywch!" a "hwre!" a gwelem fod cannoedd lawer yn bresennol. Pan gyrhaeddasom y fan lle y cynnelid y cyfarfod, nis gallaf adrodd fy syndod pan welais mai fy mrawd Bob oedd yn anerch y bobl. Trôdd fy nghalon ynof, a chredwn pa beth bynag oedd efe yn ei ddyweyd ei fod yn wir perffaith; oblegid y pryd hyny nid oeddwn yn meddwl fod yn bosibl i Bob wneyd camgymeriad. Ymwthiodd Wil a minnau ymlaen, a dechreuodd Wil waeddi "*hear, hear!*" cyn iddo ddeall gair o'r hyn a ddywedid. Byth nid anghofiaf yr olwg oedd ar fy mrawd. Safai ar domen uchel, ac amryw o brif "dorwyr" y Caeau Cochion o'i amgylch, a'r dorf anferth islaw iddo. Daliai ei het yn ei law aswy, ac estynai ei law ddehau allan. Yr oedd ei lygaid fel dwy lamp yn llosgi mewn dwfr, ei wefusau yn crynu, a'i wyneb càn wyned â'r calch, ac yn ffurfio y fath annhebygrwydd rhwng ei farf a'i wallt du â phe dodid pelen o eira mewn huddygl. Yr wyf yn cofio fy mod yn synu sut yr oedd gwyneb Bob mor welw wrth siarad, a gwynebau pregethwyr mor gochion pan yn pregethu. Gwyddwn ar ei olwg fod pob migwrn, asgwrn, a gewyn a feddai wedi eu cynhyrfu ar eu heithaf, a meddyliwn y fath bregethwr clyfar a wnaethai Bob pe buasai y seiat heb ei ddiarddel am y tipyn trosedd a wnaeth. Ni chlywswn ef yn siarad yn gyhoeddus erioed o'r blaen, a synwn yn anferth o ba le yr oedd yn cael yr holl eiriau a ddylifent dros ei wefusau. Chwarddai, ocheneidiai, a chrochlefai y dyrfa o'i gydweithwyr a safai o'i flaen; yr oeddynt yn hollol yn ei law. Yr wyf yn meddwl y gallwn yn awr adrodd yr hyn a glywais o'i anerchiad; ond i ba ddyben? Da iddo ef a fuasai pe nas dywedasai air y noswaith hono. Ei bwnc oedd y gorthrwm a'r caledi yr oedd y glöwyr yn eu dyoddef o herwydd trahausder y swyddogion, a'u hanghymhwysder i ddeall gwaith y Caeau Cochion. Profodd i foddlonrwydd y rhai oeddynt yn gwrando na wyddai y *Lancies* ddim am weithio gwaith glo Cymreig, a'u bod yn gorthrymu y gweithwyr ac yn andwyo y meistriaid. Pan beidiodd a siarad, rhoddwyd banllefau uchel gan y gynnulleidfa; a rhedais innau adref i adrodd yr hanes wrth fy mam—y fath siaradwr campus oedd Bob.

Eisteddai fy mam o flaen y tân gan bletio ei ffedog. Ar fy mynediad i'r tŷ, edrychodd yn foddhâus arnaf, a llongyfarchodd fi ar y modd yr aethwn trwy fy arholiad. Prysurais innau i adrodd hanes Bob—y fath siaradwr gwych ydoedd—fel yr oedd y bobl yn gwaeddi eu cymeradwyaeth, ac felly yn y blaen. Yn lle ymfalchïo wrth glywed yr hanes, fel y dysgwyliaswn iddi wneyd, newidiodd ei gwedd, a gwisgodd ei hwyneb y fath brudd-der ag oedd yn hollol anesboniadwy i mi.

"Wel, wel," ebe hi gydag ochenaid drom; "ni cheir mo'r melus heb y chwerw. Mae rhywbeth yn deyd wrtha i y daw helbul o hyn. Mae dydd y brofedigaeth yn ymyl. O am ras i ddal heb ddyweyd dim yn ynfyd!" ac ymollyngodd fy mam i fyfyrdod prudd, gan barhâu i bletio ei ffedog ac edrych yn ddyfal i'r tân.

Erbyn hyn teimlwn yn ofidus fy mod wedi adrodd yr hanes wrthi, er nas gallwn ddirnad pa fodd yr oedd hyny wedi dwyn arni y fath brudd-der. Aethum i'r gwely yn isel fy ysbryd, a hyny yn benaf am nad oeddwn yn deall yr achos o dristwch fy

mam. Yr oedd yn hwyr ar y nos pan ddaeth Bob adref; ac er nad oeddwn o'r gwely yn gallu deall dim, clywn siarad brwd rhyngddo ef a fy mam, ac yn sŵn eu llais y syrthiais i gysgu. Mor wir ydoedd geiriau fy mam! Tra yr oedd pechaduriaid anghymedrol a gwastraffus yn gorphwys yn dawel ar eu mânblu yn nghanol cyflawnder a moethau, a llêd cyfandir rhwng y blaidd a'u drysau, a thra yr oeddwn i yn cysgu yn ddifeddwl ar fy ngwely gwellt, yr oedd yr "helbul" y prophwydasai fy mam am dano eisoes yn cerdded yn ol a blaen gerllaw ein bwthyn, yn barod i guro wrth ein dôr; ïe, ac yntau yn gwybod fod yn y bwthyn hwnw *un* o leiaf yn ofni Duw yn fwy na llawer! Duw a ŵyr nad oedd *hi* yn treulio chwe' awr o'i bywyd, yn effro, heb anfon gweddi ato!

---

CYNGHOR

A draddodwyd ar dderbyniad nifer o Flaenoriaid yn Nghyfarfod Misol Dyffryn Clwyd a gynaliwyd yn y Rhiw, gerllaw Rhuthyn, Mai 26, 1882.

*Gan Mr.* EDWARD ELLIS, *Dinbych.*

ANWYL FRODYR,—Yr wyf yn teimlo yn ddwys oddiwrth fy mod i gyflawni y gorchwyl o'ch anerch chwi ar yr amgylchiad pwysig hwn. Yr wyf yn ymwybodol iawn o'm hanghymhwysder i'w wneyd. Yr hyn a geisiaf ei ddyweyd wrthych a geisiaf ei ddyweyd wrthyf fy hunan; a dymunwn ei adrodd mewn ysbryd priodol, ac fel un sydd yn ymdeimlo yn fawr â chyfrifoldeb y swydd yr ydych wedi eich galw i'w llenwi.

Yr wyf yn dymuno cymhwyso atoch y geiriau hyny sydd yn nghyfarchiad yr Apostol Paul i henuriaid eglwys Ephesus: "Edrychwch gan hyny arnoch eich hunain ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr." Yr oedd yr henuriaid hyn yn cynnwys holl swyddogion yr eglwys hono.

Yn gyntaf edrychwch arnoch eich hunain, ac yna edrychwch ar yr holl braidd. Telwch yn gyntaf sylw manwl i chwi eich hunain. Gwnewch eich hunain gynghor Duw. Ymddygwch chwi yn gyntaf yn addas i'r efengyl. Cydymffurfiwch â'i haddysg a'i hathrawiaeth. Byddwch yn amlwg eich hunain mewn duwioldeb, a rhoddwch argraff o hono ar yr holl braidd, ar yr holl eglwys, ac ar bawb y deuwch i gyffyrddiad â hwynt. Rhan arbenig o'ch dyledswydd ydyw edrych ar ol crefydd yr eglwys. Ac os bydd genych fugail i wneyd hyn, yr ydych chwi i'w gynnorthwyo. Gan hyny dylech eich hunain fod yn amlwg yn grefyddol, a bod yn esiampl dda i'r eglwys yn hyn.

Edrychwch arnoch eich hunain tuag at fod mewn trefn i arwain yr eglwys ymlaen, i'w hwylio yn yr iawn gyfeiriad o dan gyfarwyddyd y gair sanctaidd. Dylech edrych arnoch eich hunain er mwyn ymdrechu cael pawb o'r aelodau i wneuthur y pethau a enwir gan yr Apostol Pedr. Wrth wneuthur y cyfryw y gellwch ddywedyd wrthynt, "Canys tra fyddoch yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth; canys felly yn helaeth y trefnir i chwi fyned iad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist."

Arferir y gair a gyfieithir yn "edrychwch" yn y fan hon, weithiau, meddir, am fyned â'r llestr i borthladd penodol. I arwain y llestr, chwi a wyddoch beth raid i'r llywydd neu gapten y llestr fod. Rhaid iddo fod yn sobr, yn bwyllog, yn hollol gyfarwydd â'r *chart*, ac yn adnabyddus o'r llestr ynghyd a'i holl gysylltiadau. Felly chwithau, i arwain yr eglwys i'r porthladd dymunol, rhaid i chwi eich hunain "rodio yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi," yn lletty̆gar, yn caru daioni, yn sobr, yn gyfiawn, yn sanctaidd, yn siampl i'r ffyddloniaid mewn gair, mewn ymarweddiad, mewn cariad, ac felly ymlaen. Dylech ymdrechu i fod fel hyn mewn trefn i edrych ar yr holl braidd, i edrych ar yr holl eglwys, ac ar bob un yn yr eglwys. Bydded i chwi ymegnïo i ddangos, trwy eich buchedd a'ch ymarweddiad, eich bod yn feddiannol ar y cymhwysderau hyn.

Y cymhwysderau a ofynid yn y diaconiaid a ddewiswyd gyntaf, ydoedd bod "yn dda eu gair, yn llawn o'r Ysbryd Glân a doethineb." Yr wyf yn gobeithio y dangoswch chwi eich bod i fyny â hyn.

Yn gyntaf, eich bod "yn dda eich gair;" hyny yw, bod pawb sydd yn eich adnabod yn gallu tystio am eich cymeriad, yn foesol ac yn grefyddol, a'ch bod mewn sefyllfa y gellir dyweyd am danoch rywbeth tebyg ag y dywedwyd am Iesu Grist, "Yr oedd pawb yn dwyn tystiolaeth iddo," hyny yw, yr oedd pawb yn rhoi gair da iddo, "ac yn rhyfeddu am y geiriau grasusol a ddeuai allan o'i enau ef."

Edrychir arnoch o hyn allan fel rhai ar y blaen yn yr eglwys eich dewiswyd chwi yn flaenoriaid ynddi. Gwneir sylw mawr arnoch. Edrychir i'r modd y byddwch yn ymddwyn yn nghylchoedd cyffredin bywyd yr ydych yn troi ynddynt. Gwneir sylw arnoch fel rhai gonest, *upright and straightforward*, fel y byddwn yn dyweyd, "Nid yn darnguddio, ond yn dangos pob ffyddlondeb da." Byddwch yn ofalus ar i'ch cymeriad fod yn gyfryw y gellir rhoddi pwys ar bob gair a ddywed-

wch, ei fod yn safadwy fel deddf, ac y gall pawb ddyweyd am bob un o honoch, "Pa beth bynag a ddywedo efe wrthych, chwi a ellwch ddibynu arno; y mae ei air yn ddigon." Y mae yn ddrwg genym ddyweyd fod rhai i'w cael yn proffesu crefydd sydd yn ddiffygiol yn y pethau hyn, ac felly yn rhwystr i lwyddiant crefydd ac yn attalfa i iawn ymgeledd eglwys Dduw. Byddwch fel Demetrius, yr hwn yr oedd iddo air da gan bawb a chan y gwirionedd ei hun. A dymuned pob un o honoch fel y Salmydd, "Bydded ymadroddion fy ngenau a myfyrdod fy nghalon yn gymeradwy ger dy fron, O Arglwydd, fy Nghraig a'm Prynwr."

Edrychwch ar roddi esiampl dda yn eich holl ymwneyd â phethau y bywyd hwn; felly mewn bod i fyny â chyfiawnder ymarferol, yn prynu a gwerthu ar ychydig eiriau, yn ymdrechu edrych ar bob peth yn ol ei lawn werth, a gweithredu yn ol hyny. Ymddygwch bob amser dan ddylanwad rheswm a llywodraeth cydwybod, yn ol y goleuni sydd ynoch, a hyny wedi i chwi wneyd ymdrech i ddeall yn drwyadl y pethau y byddwch yn ymwneyd â hwy. "Edryched dy lygaid yn uniawn, ac edryched dy amrantau yn uniawn o'th flaen. Ystyria lwybr dy draed, a threfner dy holl ffyrdd yn uniawn." Os bydd unrhyw wyrni ynoch oddiwrth hyn, fe sylwir arno, ac yna bydd yr achos mawr yn cael ei niweidio. Fel y mae pren yn cael ei werthfawrogi wrth ei ffrwyth, felly y mae crefydd, mewn ystyr gymdeithasol a moesol, yn cael ei gwerthfawrogi wrth ymddygiadau ei phroffeswyr. Gochelwch fydolrwydd. Bydded i'r holl aelodau deimlo eich bod yn elusengar a haelionus "yn ol fel y llwyddodd Duw chwi."

Yn nesaf, yr ydych i fod "yn llawn o'r Ysbryd Glân;" hyny yw, ymysg pethau eraill, yn llawn o rinweddau a grasusau cristionogol, fel effeithiau preswyliad yr Ysbryd Glân ynoch. Mewn gair, dylech fod yn dduwiol, ac yn dduwiol iawn. Er dangos cymhwysder Barnabas i gynghori pawb o'r dychweledigion yn Antiochia, iddynt "trwy lwyrfryd calon lynu wrth yr Arglwydd," dywedir ei fod ef "yn ŵr da, ac yn llawn o'r Ysbryd Glân ac o ffydd."

Dylech fod yn llawn o ddoethineb, sef, nid yn unig eich bod yn meddu gwybodaeth, ond hefyd synwyr i'w hiawnddefnyddio. Y mae doethineb yn anghenrheidiol i iawndrefnu amgylchiadau yr achos, neu i wasanaethu byrddau. Dysgwylir i chwi, fel blaenoriaid, fod yn feddiannol ar synwyr da. Edrychwch, ynte, ar i chwi ddangos hyn ymhob peth. Ymysg pethau eraill, gochelwch fod yn euog o ryw ystranciau neu ddichellion cyfrwysgar. Nid ellir desgrifio y niwed y mae hyn wedi ei wneyd i'r achos. Y mae un yn syrthio i'r gwendid hwn o herwydd ei fod yn methu cael ei gydswyddogion, neu eraill, i weithredu yn ol ei gynllun ef, neu am nad yw ei feddwl ef ei hun yn cael bod yn rheol ar bob peth. Yn wir, pan y clywn am anghydfod neu oerfelgarwch wedi cymeryd lle yn rhywle, gallwn braidd bob amser ei olrhain i falchder neu hunangarwch un na wna ddim os na chaffo ei ffordd ei hun. Gochelwch chwi hyn, ac ymdrechwch ymhob peth i gadw undeb a brawdgarwch. Rhoddwch barch i syniadau eich gilydd. Ymdrafodwch â phob peth a ddygir ger eich bron yn deg, yn ystwyth, ac yn addfwyn; a phan y penderfynir rhyw fater gan y mwyafrif, gwnewch eich goreu i gydweithredu â'ch gilydd i'w gario allan, er.i hyny, fe allai, fod yn groes i'ch syniadau personol chwi eich hunain. Y mae hyn yn hanfodol i lwyddiant yr achos mawr. Nis gellir edrych ar unrhyw berson sydd am ei ffordd ei hun, er gwaethaf syniadau ei frodyr, ond fel awdwr anghydfod. Ymdrechwch chwi i fod yn unfryd â'ch gilydd; a rhoddwch esiampl dda i'r eglwys mewn brawdgarwch ac undeb. Os dygwydd i chwi gael eich tramgwyddo gan rywun, ewch yn union at y cyfryw yn bersonol, a mynegwch yn dyner wrtho yr hyn a wnaeth i chwi deimlo yn anghysurus. Ymhob peth ceisiwch wneyd cynghor yr apostol Pedr, "Am ben hyn byddwch oll yn unfryd, yn cydoddef â'ch gilydd, yn caru fel brodyr, yn drugarogion, yn fwynaidd; nid yn talu drwg am ddrwg, neu sen am sen; eithr yn ngwrthwyneb yn bendithio, gan wybod mai i hyn y'ch galwyd, fel yr etifeddoch fendith."

Gofalwch na byddoch yn gwneuthur dim a fyddo yn tueddu i ddarostwng yr un swyddog na neb arall. Ni a ddylem goleddu syniadau mor uchel ag y mae modd am ein gilydd. Ond y mae effaith y cwymp i'w ganfod ymysg y rhai sydd yn llenwi y swyddi uchaf. Nid oes neb yn berffaith yma; eithr pan ganfyddir ffaeleddau, ni ddylid rhoddi cyhoeddusrwydd iddynt ar hyd ac ar led y wlad yn y papyrau, nac ar dafodau. Os na choleddir syniadau teilwng am weinidog yr efengyl gan y gynnulleidfa, neu am flaenor gan yr eglwys, pa fodd y gallant gynnyrchu nemawr ddaioni, na bod yn offerynau defnyddiol yn mhlaid yr efengyl? Anghenrheidiol iawn yw dyweyd eto, "Na ddywed ddrwg am benaeth dy bobl."

Ymhellach, dangoswch eich bod wedi dysgu y wers o ddyoddef. Un o'r pethau mwyaf tueddol i wneyd yr enaid yn dawel, ac i wasanaethu er ei ddedwyddwch, ydyw bod i fyny â'r wers hon—"dyoddef adfyd." "Cydoddef di gystudd a'r efengyl."

Braidd na ddywedwn fod cysylltiad agos rhwng dyoddef a pheidio pechu. "Yr hwn a ddyoddefodd yn y cnawd a beidiodd â phechod."

Mewn trefn i weinyddu swydd diacon fel y mae i'w gweinyddu yn ein mysg ni, dylem fod yn hyddysg yn athrawiaethau sylfaenol yr efengyl. Yr ydym i "ddala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur," ac felly bod yn fedrus yn yr Ysgrythyrau. Gwnewch ymdrech yn neillduol ar i'r adnodau am grefydd ymarferol fod wrth eich *command* yn wastadol. O mor werthfawr ydyw adnod i bwrpas, fyddo yn cyfarfod â'r amgylchiad y gall un fod ynddo! Mor fuddiol ydyw meddu doethineb i "lefaru gair mewn pryd wrth enaid diffygiol." O "mor dda yw gair yn ei amser!"

"Dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur," ydyw ymddwyn yn ol yr argraff y mae dirgelwch y ffydd neu athrawiaeth yr efengyl yn ei gael ar eich cydwybod. Actiwch gydwybod gan hyny yn gyfatebol i'r goleuni sydd ynoch o'r gyfrol sanctaidd. Ymdrechwch gyrhaedd y tir y gellwch ddyweyd am danoch eich hunain, megys y dywedodd yr apostol Paul am dano ei hunan a'i gydweithwyr, "Canys ein gorfoledd ni yw hyn, sef tystiolaeth ein cydwybod, mai mewn symlrwydd a phurdeb duwiol, nid mewn doethineb cnawdol, ond trwy ras Duw, yr ymddygasom yn y byd."

Yr ydys yn gobeithio eich bod wedi eich gosod yn y swydd gan yr Ysbryd Glân: "Ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr." Y mae y *Revised Version* yn cyfieithu yr ymadrodd fel hyn, "Yn yr hwn y gwnaeth yr Ysbryd Glân chwi yn esgobion," hyny yw, yn olygwyr, neu yn bersonau i edrych i fewn i'r praidd, i edrych i fewn i'r eglwys, ac i ofalu am dani. Y mae y gair bach a gyfieithir *ar* yn yr ymadrodd "ar yr hwn," yn cael ei gyfieithu weithiau, meddant hwy, ymhlith, ac ymysg, megys yn yr ymadroddion hyny, "Ymhlith plant gwragedd ni chododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr;" "Ymysg y rhai y bu ein hymarweddiad ni oll gynt."

I edrych ar yr holl braidd, yr ydych i fod ymysg y praidd; nid edrych *at a distance.* Yr ydych i droi ymysg aelodau yr eglwys, a sylwi ar bob un o honynt, fel ag i fod yn hysbys o'u cymeriadau, yn foesol ac yn grefyddol. Os canfyddwch fod rhyw anaf, rhyw ddiffyg neillduol ar un, gofalwch am dano. Ymdrechwch yn union, trwy bob moddion tyner, i'w ddwyn ef i'w le. Edrychwch i mewn i amgylchiadau tymmorol yr aelodau. Gofalwch na byddo neb mewn anghen, nid yn unig am wir anghenrheidiau bywyd, ond hefyd mewn angen am y pethau y rhaid iddynt wrthynt tuag at fod yn gysurus. Nid ydyw yn edrych yn dda fod rhai yn yr eglwys yn byw mewn *luxuries*, ac eraill yn amddifad o gysuron anghenrheidiol bywyd. "Yr hwn sydd ganddo dda y byd ac a welo ei frawd mewn eisieu, ac a gauo ei dosturi oddiwrtho, pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef? Na charwn ar air, nac ar dafod *yn unig*, eithr mewn gweithred a gwirionedd." Mantais fawr at gyfranu i gyfreidiau ysbrydol yr aelodau yw cyfranu hefyd i'w cyfreidiau tymmorol. Ni ellir bod yn effeithiol trwy ddyweyd, "Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch; eto heb roddi iddynt anghenrheidiau y corff." A chan eich bod i ofalu am amgylchiadau tymmorol yr aelodau, edrychwch na byddo neb o honynt yn segur, heb ddarbod yn briodol drosto ei hun a'i deulu, os bydd ganddo deulu. Gwnewch eich hunain yn gydnabyddus, hyd y mae ynoch, â rhagoriaethau pob aelod ac â'i wendidau. Ac ond i chwi wneyd hyn, chwi a fyddwch mewn mantais fawr i weinyddu ymgeledd iddynt yn ol fel y bydd yr anghen yn galw. Y mae yn hawddach i flaenoriaid mewn eglwysi bychain wneyd hyn nag i flaenoriaid mewn eglwysi mawrion. Felly byddai yn fuddiol i eglwysi mawrion wrth ryw drefniant tebyg i'r eiddo ein brodyr Wesleyaidd, sef dosbarthu yr eglwys yn rhanau, a bod gan bob swyddog ei ran yn neillduol i ofalu am dani, fel y delai sefyllfa pob aelod yn hysbys i gylch y swyddogion.

Ystyriwch yn barhâus pa duedd sydd yn yr eglwys yr ydych yn flaenoriaid ynddi i roddi argraff o'r hyn a ddylai crefydd roddi. Dylai yr eglwys fod yn *model* o wirioneddau yr efengyl mewn ymarferiad. Os bydd ymddygiad unrhyw aelod yn milwrio yn erbyn, na fyddwch ddystaw wrtho. Ymresymwch âg ef yn bwyllog, a hyny yn union. Gofalwch ar i'r holl aelodau fod yn ymwybodol o bwysigrwydd aelodaeth eglwysig. Os canfyddwch ryw aelod yn annheilwng o herwydd rhyw ymddygiad, a hyny yn eglur, ac os bydd y cyfryw yn parhâu felly ar ol ei rybuddio, gwell ydyw, er ei les ei hun a phawb eraill, iddo beidio bod yn un o honoch. Y mae arnaf ofn fod agwedd rhai eglwysi y dyddiau hyn wedi bod yn achlysur i gydwybodau rhai ymdawelu pan yn boddio rhyw flys llygredig. Y mae cydwybod ambell un yn gallu bod yn dawel iddo fyned ymlaen mewn rhyw lygredd trwy fod aelodau annheilwng yn cael eu goddef yn yr eglwys, a thrwy fod eglwys, fel eglwys, yn rhoddi argraff anghydweddol â'r gwirioneddau y mae yn eu proffesu. Ystyriwch y gall yr hyn a dybir yn dynerwch personol fod yn greulondeb tuag at y lliaws.

Byddwch yn ofalus wrth dderbyn rhai i gyflawn aelodaeth. Na dderbyniwch neb yn ebrwydd. Cyn eu gosod o flaen yr eglwys, edrycher i mewn i'w cymhwysder o ran eu gwybodaeth ac o ran eu cymeriad. Gofalwch hefyd ar edrych fod ynddynt gymhwysder i dderbyn adeiladaeth ysbrydol wrth gyfranogi o'r ordinhad o Swper yr Arglwydd. Y mae peidio bod yn ddigon manwl wrth dderbyn rhai i gyflawn aelodaeth, gan eu derbyn heb gael boddlonrwydd gyda golwg ar eu cymhwysder, yn eich gwneyd chwi yn gyfrifol o osod rhai mewn sefyllfa i gyfranogi o'r ordinhad sanctaidd yn annheilwng, ac felly er niwed iddynt eu hunain.

Pan fyddo aelodau yn ymadael i eglwysi eraill, mynwch wybod mewn pryd am eu hymadawiad, er mwyn i chwi gael amser i edrych i mewn i'w sefyllfa. Os bydd yn eu cymeriadau nodweddau canmoladwy, gwnewch sylw o honynt, er cefnogaeth iddynt fyned ymlaen, ac er dwyn eraill i'w hefelychu. Neu os bydd rhywbeth ynddynt yn wahanol, byddwch ddoeth i roddi cynghorion priodol iddynt, eto mewn tynerwch ac addfwynder. Darllenwch yn fanwl ein rheolau dysgyblaethol fel Cyfundeb, y rhai sydd wedi eu sylfaenu ar addysg y Testament Newydd. Gweithredwch yn ol eu cyfarwyddiadau; ac yn awr ac yn y man gelwch sylw yr aelodau atynt. Ymdrechwch gael pob aelod i gyfranu yn ol ei allu at achosion da. Rhoddwch ar ddeall iddynt fod hyn yn ddyledswydd, ac, yn wir, yn ddysgyblaeth grefyddol. Y mae yn dwyn un i brawf pa fath yw ei ymlyniad tuag at bethau y bywyd hwn. Y mae gwir grefydd yn ein diddyfnu oddiwrth bethau darfodedig; canys fel y bydd profiad o bethau ysbrydol yn cryfhâu, felly y bydd yr ymlyniad wrth bethau daearol yn lleihâu. Y mae yn ddiraddiad ar berson ei fod yn aelod o unrhyw gymdeithas heb iddo gyfranu yn ol ei allu i ddwyn traul y gymdeithas hono. Fel y dywed ein *Cyffes Ffydd*, y mae ymddygiad aelod yn parhâu i beidio a chyfranu, ac yntau mewn gallu, yn anffyddlondeb at achos yr Arglwydd, ac yn dangos y cyfryw ag a fyddo felly yn annheilwng o fod gyda phraidd Crist. Gan hyny bydded i'r ddyledswydd hon gael eich sylw gyda golwg ar yr holl aelodau.

Os dygwydd i chwi fel swyddogion fethu cydweled gyda golwg ar unrhyw beth, na ddangoswch hyny ger bron yr eglwys. Bydded cydgordiad perffaith rhyngoch bob amser yn ei phresennoldeb. Y mae argraff o anghyttundeb yn eich mysg yn effeithio er niwed, ac yn lleihâu eich dylanwad.

Os bydd genych weinidog neu fugail, yr hyn sydd yn dra dymunol, gallwn feddwl, gan bob diacon sydd yn ymdeimlo yn ddwfn â chyfrifoldeb ei swydd, gwnewch eich goreu i'w gynnorthwyo a'i gryfhâu yn ei alwedigaeth bwysig. Y mae defnyddioldeb a llwyddiant gwaith y gweinidog yn ymddibynu i raddau helaeth ar weithgarwch ac ymddygiadau teilwng y diaconiaid.

Wel, yn y cyflawniad o'ch swydd gallwch ddysgwyl rhyw bethau heb fod yn gwbl drefnus. Mewn ystad anmherffaith yr ydym yma ar y goreu. Y mae yn ymddangos fod Awdwr natur wedi cynnyrchu ynom rhyw ddarpariaeth, rhyw nwydau *(passions)*, na buasai raid wrthynt oni buasai annhrefn. Meddyliwch am y nwydau o ofn, tosturi, digter at yr hyn sydd ddrwg: pe buasai cymdeithas ddynol mewn ystâd o berffeithrwydd, ac yn cael ei llywodraethu yn hollol gan yr hyn sydd ddoeth a rhinweddol, ymddengys na buasai anghenrheidrwydd o ddefnyddio yr un o'r nwydau hyn. Yn awr dyna ynoch ddarpariaeth ar gyfer annhrefn. Defnyddiwch hi hyd eithaf eich gallu pan fyddo amgylchiad yn galw. Pan welwch aelod yn dyoddef o herwydd afiechyd neu dlodi, dangoswch allan eich tosturi. Rhowch ymarferiad helaeth i'ch gallu o gydymdeimlo. Gweithredwch yr un modd gyda golwg ar bob amgylchiad a all gymeryd lle.

Gyda golwg ar eich holl ddyledswyddau, bydded i chwi gael eich meddiannu gan yr hyn a ddylai fod yn brif gynhyrfydd i'w cyflawni, sef cariad gwresog at Iesu Grist a'i achos. Hyn sydd i'ch ysgogi ymhob peth. Ond i gariad Crist fod yn ddwfn yn eich calonau, chwi a gyflawnwch eich swydd yn unol âg ewyllys Duw.

Nac anghofiwch un amser eich bod chwi, ynghyd a'r eglwys yr ydych yn flaenoriaid ynddi, yn rhan o'r Cyfundeb, a bod holl eglwysi y Methodistiaid Calfinaidd i gael edrych arnynt fel un eglwys, fel un gymdeithas. Y mae hyn yn cael ei osod allan yn eglur yn ein *Cyffes Ffydd*. Mae yr holl eglwysi fel un Cyfundeb i ddilyn yr un athrawiaeth, i'w llywodraethu gan yr un rheolau, ac i syrthio i fewn â'r un penderfyniadau, sydd wedi eu gwneyd ac yn cael eu gwneyd gan ein cynnrychiolwyr yn ein Cyfarfodydd Misol a'n Cymdeithasfäoedd. Y mae cydweddiad hollol rhwng sefyllfa aelod tuag at ei eglwys yn neillduol ag sydd rhwng yr eglwys tuag at y Cyfundeb yn gyffredinol. Y mae yr un peth mewn egwyddor i eglwys neillduol filwrio yn erbyn trefniadau a rheolau y penderfynir arnynt gan y Cyfundeb yn gyffredinol, ag ydyw i aelod yn yr eglwys hono filwrio yn érbyn ei threfniadau penodol hi ei hunan. Ni raid wrth reol arbenig gyda golwg ar hyn. Y mae yn *common law* ymhob cymdeithas, ac yn *custom* ymhob cyfundeb.

Byddwch gan hyny yn ffyddlawn i'ch Cyfundeb. Cydymffurfiwch â phob peth sydd ynddo. Y mae llwyddiant y Cyfundeb yn ymddibynu ar ffyddlondeb yr eglwysi sydd yn ei gyfansoddi i gydweithredu â'u gilydd mewn cario allan ei benderfyniadau.

Ymdrechwch fod yn ddiaconiaid yn wastadol, bob amser yn meddu ysbryd y swydd, gan allu dyweyd, Parod yw fy nghalon i wneyd y peth hyn a'r peth arall, fel y byddo yr anghen yn galw. Y mae yr enw diacon yn arwyddo hyn, sef un wrth ei waith, un yn gweinyddu ar y pryd, fel *waiter* wrth y bwrdd. Byddwch gan hyny yn flaenoriaid cyson. Gochelwch fod yn flaenoriaid ffitiog. Bydded ynoch *ideal* o flaenor cyflawn, heb ddiffyg ynddo. Nid oes dim yn deilwng o'i osod o flaen dynoliaeth ond yr hyn sydd berffaith. "Awn rhagom at berffeithrwydd" yw yr iaith gymhwys ymhob peth, yn enwedig mewn ystyr crefyddol. Yr *ideal* gan Paul, fel apostol, oedd llenwi y byd âg efengyl Crist, a chael pawb i afael â'r iachawdwriaeth drwyddo. Yr *actual*, sef yr hyn yr oedd ei *ideal* yn effeithio arno, ydoedd ymdrech diflino, trwy beryglon ac anhawsderau, i fod yn bob peth i bawb, fel y dywed: "Mi a ymwneuthum i'r Iuddewon yn Iuddew, fel yr ennillwn yr Iuddewon; i'r rhai dan y ddeddf megys dan y ddeddf, fel yr ennillwn y rhai sydd dan y ddeddf. Mi a ymwneuthum yn bob peth i bawb fel y gallwn yn hollol gadw rhai." Wedi iddo bregethu yr efengyl mewn un man, yr oedd yn ymestyn tu hwnt, ac yn dymuno fod pawb yn gyfryw ag ydoedd ef ond ei rwymau. Bydded ynoch chwithau *ideal* o eglwys drefnus, yn meddu pob peth hanfodol er ei chynnaliaeth a'i chynnydd: cariad pur, brawdgarwch serchog, ac undeb trwyadl yn ei llywodraethu. Ffurfier ynoch y drychfeddwl hwn, a bydded iddo effeithio arnoch i weithio â'ch holl egni. Byddwch yn bob peth i'r eglwys y gosodwyd chwi yn flaenoriaid ynddi. Gwasanaethwch hi yn ffyddlawn er meithriniad ysbrydol yr holl aelodau—er dwyn pob enaid i dir y byddo, trwy Ysbryd Duw, yn "cynnyddu mewn gras ac yn ngwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist." Sylweddolwch ynoch eich hunain, fel yr apostol Paul, "obaith ar Dduw y bydd adgyfodiad y meirw i'r cyfiawnion ac i'r anghyfiawnion, fel yn hyn yr ymarferoch i gael cydwybod ddirwystr tuag at Dduw a dynion yn wastadol."

Yr wyf yn dymuno y galler dyweyd yn fuan, am y manau hyny yr ydych chwi yn flaenoriaid yr achos ynddynt, yr un peth ag a ddywedwyd mewn canlyniad i sefydliad y diaconiaid cyntaf, "A gair Duw a gynnyddodd, a rhifedi y dysgyblion a amlhaodd yn ddirfawr."

---

# Darlleniadau Detholedig.

### LLEWYRCH Y GOGONIANT.

YR oedd y Shecina yn y cysegr yn rhywbeth na fedrai neb wneyd ei lûn. Gallasai eraill wneuthur arch cyffelyb i arch y dystiolaeth; gallasent barotoi llechau cèryg, a gwneyd *shape* llythyrenau tebyg i'r rhai oedd yno; a gallasent wneyd trugareddfa a cherubiaid. Ond nid oedd neb yn medru gwneyd "y gogoniant;" yr oedd hwnw yn rhywbeth goruwchddaearol,—yn beth nad allai dynion ei amgyffred na'i ddynwared. Y mae peth tebyg i hyn eto pan y mae Duw yn ymddangos yn ordinhadau yr efengyl. Gall dynion annuwiol gyfansoddi ac adrodd pregethau yn gystal â'r goreu o bregethwyr. Ond y mae rhywbeth pan y mae Duw yn dyfod i'r golwg yn moddion gras na fedr dawn mo'i wneuthur, ac nas gwŷr y byd ddim am dano; y mae yma ryw dywyniad sydd dros ben dawn. Dyma sydd yn achub wrth wrando: gogoniant Duw yn Nghrist yn llewyrchu i'r meddwl. Mae duw y byd hwn yn dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw. Hyn a achub y bobl: nid tywynu arnynt ond tywynu iddynt,—y llewyrch yn tywynu i mewn, i'r enaid, i'r galon. Y llewyrch yw yr hyn sydd ar Satan ei ofn yn yr odfeuon. Ah! pe goddefid i ddiafol siarad yn yr iaith Gymreig, fe roddai hèr i mi yn y fan yma, ac a ddangosai nad oes dim o'n harswyd arno; chwardd am ben ein hymdrechiadau ni; nid oes arno ofn dim ond y llewyrch: "fel na thywynai iddynt lewyrch." Wel, Arglwydd mawr, dyma hi yn frwydr gyda ni heddyw; mae'r diafol wedi dyfod yma, ac y mae yn gwrando yn fwy effro na neb; ei amcan ydyw attal y llewyrch. Ein Duw ni, yr hwn wyt gryfach na duw'r byd hwn! gŷr y llewyrch i mewn; dyma a wnai i ddiafol gilio ymaith. Y llewyrch a ddelo oddiuchod. Beth yr ydych yn ei feddwl wrth hyny? medd rhywun. Yn wir, ni fedraf ddyweyd; mae gogoniant yr Arglwydd ein Duw yn rhywbeth na fedraf ei esbonio: pelydriad, llewyrchiad, dysgleirdeb, tywyniad tanbaid megys tafliad pelydr haul. Ond er nas gellir ei ddarlunio, mae yn ei brofi ac yn ei ddangos ei hun lle byddo. Deued, deued! parai hyny effeithiau rhyfeddol. Pe tynid y llèn fel y gwelai y gynnulleidfa hon ogoniant Crist fel Gwaredwr, O y fath redeg a fyddai ato, y fath garu a fyddai arno, a'r fath foli a fyddai am dano!—*John Elias.*

### DUW YN CYHOEDDI EI FODDLONRWYDD YN EI FAB.

"WELE lef o'r nefoedd yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Mae'r mater a adroddir yn y geiriau hyn yn werth llef o'r nef. Ni buasai'r Tad yn llefain o'r nefoedd ynghylch *trifle*. Mae yma y newydd goreu i ni: fod anfoddlonrwydd y Duwdod i ni o herwydd ein pechodau wedi ei symud mewn iawn; soriant y Jehofah wedi ei ddyhuddo, a hyny mewn anrhydedd iddo ei hun. Wedi i anwyl Fab Duw gael ei wneuthur o wraig, a'i wneuthur dan y ddeddf, efe a atebodd yn berffaith i ofynion y ddeddf, ac a ddyoddefodd ei holl felldithion; a bellach y mae Duw yn foddlawn i dderbyn pechaduriaid er ei fwyn. Nid rhywbeth a darddodd o fympwy y dyledwr yw'r newydd hwn; ond daeth o'r nef, oddiwrth y Gofynwr ei hun. Yr hwn oedd yn sefyll i amddiffyn y gyfraith, efe sydd yn dywedyd, Boddlonwyd fi. Y ddau air a lewyrchodd ryfeddaf ar ein hachos ni ydyw, y Gorphenwyd gan Grist, a'r Boddlonwyd gan y Tad. Dyna ddau air a geidw y nefoedd byth yn un soniarus floedd. Yr oedd nefoedd a daear ar *derms* drwg fel nad oeddynt yn gallu siarad â'u gilydd; ond fe gaed Gŵr canol, Cyfryngwr rhwng Duw a dynion; ac yn awr y mae'r nefoedd yn dechre siarad â'r ddaear. Mae'r blaid uchaf, y fwyaf, y drechaf, yn dechre dyfod i ddywedyd geiriau heddychol wrth y blaid wanaf. Gan fod Duw y nefoedd wedi dyfod i ymddyddan â ni, ai ni fyddai yn well i ni ateb, a chydgyfeillachu âg ef? Dyma Dduw Dad yn gwaeddi, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Bechadur, gwaedda dithau yn ol, Hwn yw fy anwyl Frawd innau, fy Nghyfryngwr, fy Machnïydd, fy Nghyfaill, yn yr hwn y cefais innau fy moddloni. O am gwrdd â Duw yn y Canol-ŵr! Ynddo ef ä yn gyfarfod rhyngom â Duw na bydd chwalu arno i dragywyddoldeb. Rhowch genad, fy nghyfeillion, i mi fod yn hyf arnoch i'ch perswadio i gyfarfod â Duw yn Nghrist. Dyma fi, hen bentewyn, a fu yn ei feddwl ofnus yn hongian uwch ben uffern; ond y mae wedi dyfod yn heddwch rhwng fy enaid â Duw yn y Cyfryngwr; ac yr wyf am i chwithau gael cyfran o'r tangnefedd a'r melusder gyda mi. O y mae yma rai o honom nad aem yn dlodion ped elai y ddaear yn yfflon cyn y bore yfory; ni a fyddem wedi'n yn foddlawn yn ac ar yr Hwn a foddlonodd y Duwdod. —*Ebenezer Richard.*

---

### GWEDDIO MEWN FFYDD.

DYLEM wneyd gwahaniaeth pan yn gofyn am bethau sydd wedi eu haddaw â phan yn gofyn am bethau sydd heb eu haddaw. A ydyw yn iawn i ni ofyn am bethau sydd heb eu haddaw? Ydyw, am bethau sydd heb eu haddaw yn benodol, ond i ni ofyn gyda gostyngeiddrwydd mawr mewn darostyngiad i ewyllys Duw. Dylem ddywedyd, Os wyt ti yn ewyllysio, Arglwydd—os gweli yn dda—os bydd y peth yn ogoniant i'th enw, ac yn fuddiol i minnau, dyro ef i mi. Mae aml os fel hyna i fod pan y byddwn yn gofyn am bethau anaddawedig. Ond pan ofynwn am bethau sydd wedi eu haddaw, am fendithion y cyfammod gras, peidiwn byth a rhoddi os gyda hyn; credu sydd yn eisieu yma. A dyma lle mae gwendid llawer o grefyddwyr gyda'r gweddïo: maent yn rhy anadnabyddus o'r addewidion, ac yn rhy anghrediniol ynddynt. Pe gofynem i lawer crefyddwr, Am ba beth yn benodol y byddwch chwi yn gweddïo? atebai fi, fe allai, Am faddeuant pechodau. A ydyw Duw wedi addaw maddeuant pechodau? Ydyw. Wel, a ydych yn cofio rhyw addewid bendant am hyn? Na, ni fedraf ddyweyd yn awr; mae efe wedi addaw, yr wyf yn meddwl. Pa sut y mae'r geiriau? Yn wir, nid wyf yn awr yn cofio. Wel, er ys pa bryd yr ydych yn gweddïo am faddeuant? Er ys blynyddoedd bellach. Beth? a chwithau heb gofio addewid Duw am hyny! nid oes fodd eich bod chwi yn gofyn mewn ffydd. Os ydym am lwyddo gyda Duw, rhaid i ni ofyn "mewn ffydd heb ammheu dim; canys yr hwn sydd yn ammheu sydd gyffelyb i dòn y môr, yr hon a chwelir ac a deflir gan y gwynt." Os bydd y gwynt yn troi y ffordd yma neu'r ffordd arall, mae'r dòn yn myned yr un ffordd; mae'r dwfr yn feddal, yn myned gyda'r gwynt i bob màn. Cyffelyb yw'r dyn sydd yn ammheu: mae yn cymeryd ei arwain gan ei deimladau anwadal, ac nid gan dystiolaeth ddiysgog Duw. Edrychwch ar y dòn wedi dyfod at y làn: dyna hi yn myned yn ol drachefn; mae hi yn myned yn ol ac ymlaen o hyd. Felly y dyn sydd yn ammheu: wedi myned ymlaen mewn gweddi, mae yn dyfod yn ol mewn ammheuaeth; gofyn ac ammheu: dyna ei holl hanes. "Na feddylied y dyn hwnw y derbyn efe ddim." Beth? ai nid oes dim i'w gael? Na! "ni dderbyn efe ddim gan yr Arglwydd;" gan yr hwn y mae pob digonolrwydd; "yr hwn sydd yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod." Nid oes fodd i ddyn beidio ammheu os na bydd ganddo addewid benodol yn ei feddwl a'i grêd. Yn fynych hefyd y clywn ddyn, pan yn dyweyd addewid wrth weddïo, heb ei dyweyd yn ei lle; ni bydd yn ei hadrodd fel y mae ar lawr yn ngair Duw. Mae hyny yn dangos nad yw'r dyn hwn yn darllen nemor ar lyfr yr Arglwydd; mae wedi clywed yr adnod mewn pregeth neu rywle; ac ni ŵyr pa un ai yn yr Hen Destament ai yn y Newydd y mae. Rhaid i ffydd gael peth i'w gredu; nid, Yr wyf yn meddwl; nid rhywbeth fel hyna yw sylfaen ffydd. Yma y mae ein coll ni yn aml wrth weddïo: yr ydym yn gofyn, gofyn, ac heb gael ond ychydig. Paham yr ydym fel hyn? Am nad ydym yn craffu fel y dylem ar addewidion Duw. Pan fyddo arnom eisieu rhyw fendith, ac addewid Duw genym am dani, nid oes genym i'w wneyd ond ei gofyn yn enw Iesu Grist; ac nis dylem roddi i fyny nes derbyn. Nid gofyn am hanner cant o bethau mewn gweddi heb feddwl fawr am yr un o honynt, ond dal at y peth y mae Duw wedi ei addaw, ac arnom ninnau ei eisieu, nes ei gael. "Ceisiwch," medd Crist. A pha fodd y bydd? "A chwi a gewch." Daliwch ar hyn. "Curwch." Wele, yr wyf fi yn curo. Cura eto, ynte,

Nid yw Duw yn dyweyd pa bryd yr egyr; ond y mae yn sicr o wneyd; a curo yw ein dyledswydd ni. "Curwch, ac fe agorir i chwi." Ai tybed? Paham yr wyt yn ammheu Duw? paid; efe a rydd yn sicr. Yr Arglwydd a chwanego ein ffydd.—*John Parry, Caer.*

—

CRIST YN FACHNIYDD.

BETH oedd cymeriad Crist fel Gwaredwr? Machnïydd dros bechaduriaid i'w Dad. Yn awr beth sydd yn cymhwyso dyn i fod yn fachnïydd addas? A *leiciech* chwi iddo fod yn siaradwr têg, neu yn gwisgo dillad gwychion? Na, nid oes fawr *ods* am hyny. Beth a garech chwi fod ganddo? Digon o fodd i dalu os daw yn daro. Dyna oedd cymhwysder Crist at ei waith: digon o fodd i dalu. Pe gofynech i mi pa faint yw y ddyled, nis gallwn ddyweyd, ac y mae yn gwestiwn a ddeuwn i wybod byth. Ond mi wn i hyn: mae digon o fodd gan fy Meichia i dalu. "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, âg yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd." Dyma'r ddau yn awr yn dlawd. Yr oeddem ni yma yn dlawd o'r blaen, a dyma yr Arglwydd Iesu wedi myned yn dlawd atom. Ond nid yr un ffordd yr aed yn dlawd. Pa fodd yr aethom ni yn dlawd? Trwy wastraffu y pethau oedd genym. Ond fe aeth Crist yn dlawd heb wastraffu dim. Aeth yn dlawd heb werthu yr ystâd. Aeth i Bethlehem a Chalfaria â'r ystâd yn ei law. Aeth o Galfaria â'r ddyled wedi ei thalu, a'r ystâd heb *sinko.* Bendigedig! "Fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef."—*Evan Harries, Merthyr.*

YMADRODDION Y DOETHION.

Y DECHRE goreu i weddi yw myfyrdod, a'r diwedd goreu i fyfyrdod yw gweddi.

Parcha yr hên, dysga yr ieuanc, ymgynghora â'r pwyllog, a chyd-ddŵg â'r ffôl.

Pe na wenieithiai dyn iddo ei hun, nis gallai gweniaeth neb arall wneyd niwed iddo.

Y dydd Sabbath sydd ynys dawel yn nghanol môr tymhestlog bywyd.

Bèr yw'r bont rhwng gorfoledd a galar.

Boddlonrwydd, pe heb ond ychydig eiddo bydol, yw y meddiant goreu yn y byd.

Nid anhawdd yw cyfarfod â siaradwyr mawrion ac â meddylwyr bychain yn yr un personau.

Da yw arafwch ac addfwynder yn wastadol. Nid wrth ddychrynu aderyn y mae ei ddal.

Gwell i ddyn beidio rhoddi gormod o hyder ar gyfaill newydd nac ar hên dŷ.

Ymâd â'r gwlân cyn ymadael â'r ddafad.

Dylid bod mewn ysbryd gweddi cyn penlinio, ac aros yn yr ysbryd hwnw ar ol cyfodi.

Wrth fod yn rhy rydd i fenthyca ei arian i'w gyfaill, y collodd y benthycwr y cyfaill a'r arian.

Nac anghofied y fam yn nghyfraith y bu hithau unwaith yn ferch yn nghyfraith.

Cewch agos bob un i achwyn ar ei ddiffyg côf; ond pwy sydd yn cwyno am ei ddiffyg barn?

Gall dyn lewyrchu yn yr ail ddosbarth serch bod yn dywyll yn y dosbarth cyntaf.

Nis gall hwnw fod yn anghywir i neb ag sydd yn gywir i'w gydwybod ei hun.

Nid ydyw profedigaethau yn gwneuthur neb yr hyn nad ydoedd, ond y maent yn helpio i ddangos dyn fel y mae.

# Barddoniaeth.

—

YR IESU YN YR ARDD.

YR Iesu yn yr ardd!
O'r fath olygfa brudd!
Nerth ysbrydoliaeth bardd
Fel dim i'w phaentio sydd:
Pwy all ddarlunio Duw mewn cnawd,
Dan angerdd poeu yn druan tlawd?

Dan olewydden fawr,
Tu fewn i'r ardd y mae
Creawdwr nef a llawr,
Dan bwys annhraethol wae:
Mae llanw ei arteithiau mawr
Yn llifo 'n waed i ruddo 'r llawr.

Tra ar ei liniau pur
Mewn ingoedd ger ei Dad;
Mae 'n yfed cwpan cur
Yr etholedig had:
Pob dafn o hono yfa Ef,
Sydd ffrŵd o uffern plant y nef.

Cyfiawnder chwyfia 'i glêdd,
A mellt y ddeddf yn gwau,
A'r Iesu 'n welw 'i wêdd,
Sydd yn eu gwir fawrhâu:
Pob mellten fflamllyd gylch ei draed
Ddiffodda yn ei ddafnau gwaed.

Tra Ceidwad dynolryw
O dan anfeidrol bwys,
Disgyna angel Duw
Yn nghôl ei weddi ddwys,
A chanddo dywel gwŷn o'r nef
I sychu 'i ruddiau gwaedlyd ef.

Hon yw 'r dywyllaf awr
Ddaeth eto i'n daear ni;
Ond ha! mae Dwyfol wawr
Yn tori ynddi hi:
Mae 'n clirio 'r gwyll, mor ddudew sydd,
Rhwng dae'r a nef, yn oleu dydd.*

DYSGYBL.

*Sef Mr.* DANIEL THOMAS *(Pabellwyson), Cwmbwrla.*

* Y pennillion uchod a farnwyd yn fuddugol yn Nghyfarfod Llenyddol Dosbarth Abertawe, Gwener y Groglith, 1882.

PENILLION CAN.

Cyn llunio organ Tubal,
  Na thelyn Dafydd chwaith,
Cyn galw yr elfenau ymlaen
  I 'mafiyd yn eu gwaith,—
Pan nad oedd dyn i ganu,
  Rhoed cân yn ngenau'r sêr,
Er llòni anian pan nad oedd
  Ond gwan ar liniau Ner.

Yn ngwyrdd orielau'r goedwig,
  Y côr asgellog gawn
Mewn hwyl yn eilio mawl i'r Iôn
  A'u tanau oll yn llawn;
Y fwltur â'i hyf *alto*,
  A'r fronfraith yn llawn blâs,
Tra 'r afon dreigla îs eu traed
  Gan beraidd ganu *bass*.

Gwefreiddia yr elfenau,
  Cynhyrfa 'i melus swyn
Y daran groch i ruo 'i cherdd,
  A'r dòn ei chanig fwyn:
Try 'r gwynt y wig yn delyn,
  A'i fysedd chwery dôn
Gydgordia â'r telynau aur
  Wrth orsedd fainc yr Iôn.

Yn ngwylnos yr hen ddaear
  Dadseinia "Henffych well,"
A chana dôn uwchben ei bedd
  Yn y diddymdra pell:
Pan bydd yr haul yn duo,
  Lloer yn dyrchafu 'i chri,
A'r sêr yn wylo dagrau tân,—
  Yn gwenu y ceir hi.

Er iddynt fflamio o'i hamgylch
  Tra ar ei thaith i'r nef,
Ni lwydda 'u fflamau erch, na'u twrf,
  Byth i ddiffoddi 'i llef:
Er angeu mae 'n ddiangol,
  Ceir ef y llym ei gledd
Yn farwol, —hithau 'n ysbryd byw
  A ddawnsia ar ei fedd.

Cydoesa â thragwyddoldeb
  A'i blâs a bery 'r un;
Mae'n orlawn o'r newydd-deb pur
  Sydd yn yr Oen ei hun;
Hen destun yr anialwch—
  Orchfyga 'r seintiau 'n lân,
Ymgollant mewn gorfoledd byth
  Yn nghanol "môr o gân."

W. Evans (*Eryr Lleyn*).

*Lerpwl.*

# Bwrdd y Golygydd.

YSWIRIANT CAPELI.

*At Olygydd y* Drysorfa.

Syr,—Fel un yn teimlo dyddordeb yn y mater hwn, erfyniaf eich caniatâd i gyflwyno i sylw gynllun a allai ateb y dyben mewn golwg.

Ffurfier cymdeithas gyda chyfalaf ganddi o £25,000, yn cynnwys £2500 o gyfranau £10 yr un; a galwer i fyny 10s. y gyfran, sef £1250. Cyfrifer fod gwerth £1,000,000 o eiddo y Cyfundeb yn cael ei yswirio yn flynyddol gan y gymdeithas yn ol 1s. 6c. y cant, byddai y *premiums* yn £750. Rhodder y £1250 a elwir i fyny ar adeiladau perthynol i'r Cyfundeb, yn ol £4 y cant, o'r hyn y deilliai £50. Byddai y derbyniadau felly yn £800. Ar gyfer hyn, dyweder fod y treuliadau yn £20 y cant, sef £150; a rhodder i'r cyfranddalwyr £5 y cant ar eu harian, sef £63; byddai y swm o £587 yn weddill yn flynyddol, i'w ranu rhwng y gwahanol Gyfarfodydd Misol yn ol gwerth yr eiddo a yswirir ganddynt.—Yr eiddoch, &c.,

H.

---

"NA ATO DUW."

Syr,—Ceir yr ymadrodd uchod dair ar hugain o weithiau yn y Bibl Cymraeg—wyth o weithiau yn yr Hen Destament a phymtheg yn y Newydd. Yn y Testament Newydd, gyda'r eithriad o Luc xx. 19, mae yr ymadrodd yn gyfyngedig i dri o epistolau Paul, lle y ceir ef bedair ar ddeg o weithiau, sef dengwaith yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, unwaith yn y 1 Corinthiaid, a theirgwaith yn yr Epistol at y Galatiaid. Yr ymadrodd cyfystyr, *God forbid*, a geir yn y manau hyn yn y cyfieithiad Seisonig awdurdodedig; ond yn y *Revised Version* (1881), er bod yr ymadrodd crybwylledig wedi ei gadw ymhob man yn y "*text*," cawn ar ymyl y ddalen gyferbyn â Luc xx. 16, y nodiad, Gr. "*Be it not so*" (Gr. "Na fydded felly"); a'r un modd gyferbyn â Rhuf. iii. 4, gyda'r ychwanegiad, "*and so elsewhere*" ("ac felly mewn lleoedd eraill"). Yn y Testament Newydd Ffrancaeg, o gyfieithiad J. V. Ostervald, cawn mewn naw o fanau, "*A Dieu ne plaise,*" neu "*Dieu nous en garde*"—ymadroddion ydynt yn ymarferol gyfystyr â'r cyfieithiadau Cymraeg a Saesoneg. Ond yn y chwe' man arall cawn ymadroddion hollol wahanol, heb fod yn cynnwys enw, nac un cyfeiriad at, y Bôd Dwyfol; a'r rhai nad ydynt ond ymddyheuriadau, neu ffurf o wadiad, y fath ag a arferir yn feunyddiol mewn ymddyddanion ac ysgrifeniadau cyffredin. Mewn pedwar o'r manau hyn ceir y gair *nullement*, ac yn y ddau le eraill, "Loin de nous *cette pensée*" (y ddau air diweddaf mewn llythyrenau Italaidd). Nid yw yr ymadroddion hyn yn gwahaniaethu nemawr oddiwrth y cyfieithiad a geir ar ymyl y ddalen yn y *Revised Version,* a gellir eu rhydd gyfieithu i'r Gymraeg, "Dim o gwbl," neu "ar un cyfrif;" "Pell oddiwrthym (ydyw neu fyddo) y meddylddrych hwn." Yn y cyfieithiad Lladin a elwir y *Vulgate*, ac hefyd yn nghyfieithiad Beza, y *term* a ddefnyddir yn ddieithriad ydyw *absit*.

Ond beth ydyw gwir a phriodol ystyr yr ymadrodd gwreiddiol? A ydyw y syniad a gynnwysir ynddo y fath nas gellir ei osod osod allan ond trwy ymadrodd yn cynnwys enw, ac apeliad uniongyrchol at, y Goruchaf? Os amgen, a allwn ni yn gyson â dysgeidiaeth ein Hiachawdwr ddefnyddio yr ymadrodd arswydlawn "Na ato Duw," tra nad ydyw yr ystyr ysbrydoledig yn galw am hyny.—Yr eiddoch,

W.

*Penrhyn.*

# Adolygiad y Wasg.

BARDDONIAETH GREFYDDOL. *A Library of Religious Poetry, a collection of the best poems of all ages and tongues, with biographical and literary notes, edited by* PHILIP SCHAFF, D.D., *and* ARTHUR GILMAN, M.A.

London: Sampson Low, Marston & Co. 1883.

MAE y neb â'n dyga i gydnabyddiaeth â llyfr da yn gwneyd gwasanaeth gwerthfawr i ni. Mae yn dwyn i'n cyrhaedd gyfaill y gallwn droi ato yn feunyddiol am addysg ac adeiladaeth ac adfywiad a chysur. Yn y grêd hon yr wyf yn cyflwyno y gyfrol a enwir uchod i sylw y dosbarth hwnw o ddarllenwyr y DRYSORFA ag sydd yn abl i ddeall Saesoneg, ac yn hoff o farddoniaeth, yn enwedig barddoniaeth grefyddol. Er fod yn rhaid defnyddio dau farc fel hyn i'w nodi allan, nid ydym wrth hyny, gobeithio, yn cyfyngu eu nifer i ryw ychydig iawn. Mae lliaws mawr, yn ddiammheu, yn hyddysg yn iaith ein cymydogion; ac yn "Nghymru lân, gwlad y gân," dylai y chwaeth at farddoniaeth grefyddol fod yn lled gyffredin.

"Gelwir y gyfrol yn "Llyfrgell o Farddoniaeth Grefyddol;" ac nid anmhriodol yr enw. Wrth sylwi ar daflen y materion ar y dechre, cawn ei bod yn ëang ac amrywiol iawn. Mewn un adran mae y bardd (neu yr awen, os mynwch yn well), yn cael traethu am dano ei hun, ei waith a'i obeithion. Mewn adran arall mae yn syllu ar natur, y mynyddau, y blodau, yr adar, y ser, &c., yn neillduol fel gwaith Duw yn dadgan ei glod. Rhoddir yr adran nesaf iddo i ddesgrifio cymeriadau a dygwyddiadau hynod mewn hanesiaeth. Ar ol hyny mae y bardd yn canu am ei wlad; ac y mae un peth ynglŷn â hyn y byddai yn burion i eisteddfodwyr zelog dalu sylw iddo. O dan y penawd hwn — gwladgarwch—y cynnwysir ychydig o ganeuon yn dal perthynas â Chenadiaethau Cartrefol; a chredwyf mai buddiol fyddai dyfynu rhai llinellau o'r ddiweddaf o honynt yn y fan hon. Er eu hysgrifenu gan fardd Americanaidd, maent yn llawn mor briodol yr ochr yma i'r Werydd :—

"Look from thy sphere of endless day,
O God of mercy and of might;
In pity look on those who stray
Benighted, in this land of light.

"In peopled vale, in lonely glen,
In crowded mart, by stream or sea,
How many of the sons of men
Hear not the message sent from thee?"

Nid ydym wedi hanner dyhysbyddu adranau y cynnwysiad. Mae eto amryw eraill cyn dyfod at yr adranau sydd ar destynau yn perthyn yn fwy uniongyrchol i grefydd,—adranau lle y mae y bardd yn ymwneyd â Duw mewn ymddiried, mawl, gweddi, y Sabboth, &c., ac â Christ fel Gwaredwr yn ei fywyd, a'i farwolaeth, a'i adgyfodiad, ac â swydd a gwaith yr Ysbryd Glân, ac yn edrych ar angeu, a barn, a byd tragywyddol.

Rhoddir tua hanner y llyfr i faterion o'r natur a enwyd flaenaf, y rhai y gellir eu galw yn gyntedd allanol crefydd, a'r hanner arall i'r dosbarth a enwyd olaf, y rhai a ffurfiant y cysegr sancteiddiolaf. Eto ni buasem yn dymuno cau allan na chwtogi y dosbarth blaenaf. Mae yn cynnwys lliaws o bryddestau tra dyddorol ac adeiladol. Cymerer fel esiampl adran y dryddedd—"y bardd fel hanesydd." Lleinw yn agos i gant o du dalenau, yn cynnwys wyth neu naw mil o linellau; a cheir ynddi ddarnau ar Ambrose, Awstin, Beda, Tauler, Savonarola, Luther, heblaw amryw o chwedlau wedi eu troi ar gân, megys St. Christopher, y brenin Robert o Sicily, y ddau Rabbi, ac eraill. Anmhosibl ydyw rhoddi rhestr o'r holl destynau, a rhaid boddloni ar enwi dim ond un yn ychwaneg, sef, "*The Vaudois Teacher,*" gan J. G. Whittier, bardd Americanaidd perthynol i'r Crynwyr. Mae y gân yn seiliedig ar ddyfyniad o waith un o Chwil-lyswyr y ddeuddegfed ganrif, a diau yr hoffa y darllenydd weled cyfieithiad o hono. "Y dull a gymerai y Waldensiaid a'r hereticiaid i ledaenu eu hegwyddorion ymysg y bonedd Pabaidd ydoedd trwy gludo gyda hwy gist o deganau neu ddilladau. Wedi myned i mewn i dai y boneddigion, a gwerthu rhai o'u nwyddau, awgryment yn ochelgar fod ganddynt bethau llawer gwerthfawrocach na'r rhai hyn—tlysau anmhrisiadwy, y rhai a ddangosent os caent eu hamddiffyn rhag yr offeiriaid. Yna rhoddent i'w prynwyr Fibl neu Destament, a thrwy hyny hudwyd llawer i heresi." Pwy nad edmyga ffyddloniaid yr amseroedd gynt, tra yn diolch am ryddid bellach i anfon y Bibl i bawb o bobl y byd? Mae Beda eisoes wedi ei nodi, ac nis gallaf beidio cyfeirio at ddau ddernyn byr sydd ynglŷn â'i enw, er nad ydynt o lawer y rhai goreu yn yr adran. Seilir y darnau ar ddau draddodiad; a theitl y cyntaf ydyw "Amen y ceryg," cyfieithiad o'r Allmaenaeg, a theitl yr ail "Gorphenwyd," gwaith barddones o'r America. Y traddodiad yn y cyntaf ydyw fod yr hybarch Beda yn myned o amgylch i bregethu o dan dywysiad bachgen, o herwydd ei ddallineb.

Un diwrnod daethant i ddyffryn yn llawn o gèryg mawrion; ac wrth eu gweled dywedodd y bachgen o ddirieidi wrth Beda fod yno dorf o ddynion yn barod i wrandaw arno. Pregethodd yntau yn hyawdl a gwresog fel arferol, a therfynodd trwy ddyweyd, "Ein Tad," a chyda ei fod yn diweddu, "Eiddot ti yw y deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant yn oes oesoedd," llefodd y cèryg nes dadseinio y dyffryn, "Amen, Amen," a tharawyd y bachgen âg arswyd a chnofa cydwybod oblegid ei ddrygioni. Mae yr ail draddodiad yn fwy tarawiadol fyth, tra hefyd yn fwy credadwy. Dyma yr hanes fel ei hadroddir gan J. R. Green, dipyn yn llawnach nag yn y gyfrol ger ein bron. Yr oedd Beda wedi ei daraw yn wael cyn y Pasc, ond yn parhâu i addysgu ei ddysgyblion, ac i gyfieithu efengyl Ioan a rhanau o waith Isidore i'r iaith Saxonaidd. "Ychydig ddyddiau cyn y dyrchafael," medd Green, "cynnyddai ei waeledd; ond treuliai yr holl ddiwrnod i addysgu, heb ddim ond dyweyd yn siriol wrth ei ddysgyblion, 'Dysgwch mor gyflym ag y galloch; nis gwn pa mor hir y gallaf ddal.' Torodd y wawr wedi noswaith arall ddigwsg, a thrachefn galwodd yr hen ŵr ei ysgoleigion o'i amgylch, a pharodd iddynt ysgrifenu. 'Y mae un bennod eto yn eisieu,' meddai ei ysgrifenydd, fel yr elai y bore heibio, 'ac y mae yn flin arnat gwestiyno dy hun ddim yn hwy.' 'Fe'i gwneir yn hawdd,' meddai Beda, 'cymer dy bin ac ysgrifena yn gyflym.' Yn nghanol dagrau a ffarweliadau yr oedd yn tynu at yr hwyr. 'Y mae un frawddeg eto heb ei hysgrifenu, anwyl feistr,' meddai y bachgen. 'Ysgrifena hi yn fryslog,' archai y dyn oedd yn marw. 'Gorphenwyd yn awr,' meddai yr ysgrifenydd bychan o'r diwedd. 'Yr wyt yn dyweyd y gwir,' meddai y meistr; 'gorphenwyd y cwbl yn awr.' Wedi ei ddodi ar y palmant, a'i ben yn cael ei gynnal ar freichiau ei ysgoleigion, trôdd Beda ei wyneb tua'r man lle yr arferai weddïo, a dyganodd yn ddifrifddwys, 'Gogoniant i Dduw.' Fel y deuai ei lais at ddiwedd y gân, pasiodd yn dawel ymaith." Rhaid i mi gyfeirio y darllenydd at y gyfrol ei hunan am lïaws o bethau dyddorol eraill sydd yn adran 'y bardd fel hanesydd;' ac ni chaniatâ gofod i mi geisio rhoddi brâsolwg ar gynnwysiad yr adranau eraill.

Yn yr adran a nodasom fel y drydedd, mae y mwyafrif o'r darnau yn waith beirdd Americanaidd; ac yn sicr y mae amryw o honynt yn werth eu hadwaen, megys Whittier, a grybwyllwyd eisoes, Bryant, Wendell Holmes, Bayard Taylor, Muhlenburg; ac amryw farddesau, megys Mrs. H. B. Stowe, a'r ddwy chwaer Cary, ac eraill; i beidio son am Longfellow a Lowell. Ond trwy y gyfrol ceir detholiad o weithiau beirdd yr ochr yma i'r Werydd yn ogystal, ac yn eu plith rai o feirdd yr oes hon nad ydynt yn gyrhaeddadwy iawn i'r cyffredin, megys R. ac E. B. Browning, Newman, Rossetti, Milman, Alford, Trench, Lyte, Arnold, Bonar, Bowring, a llu eraill. Ni raid enwi yr awdwyr Seisonig hynach, y rhai y gŵyr pawb am danynt. Gallwn ddyweyd hefyd fod y cyfieithwyr yn cael eu cynnrychioli yn dda yn y gyfrol. Ceir llïaws o emynau godidog Luther, Gerhardt, Nikolai, ac eraill, wedi eu troi i'r Saesoneg gan Catherine Winkworth, Frances E. Coxe, Carlyle, &c. Yr un modd ceir llïaws o'r hen emynau Lladinaidd a Groegaidd, y rhai a ddygwyd i sylw trwy yr ysgogiad Anglicanaidd neu Tractaraidd. Prif gyfieithydd y rhai hyn ydoedd John Mason Neale, D.D., clerigwr yn Eglwys Loegr, a fu farw yn 1866. Mae mwy na deugain o ddarnau yn gysylltiedig â'i enw yn y gyfrol hon, ac ambell un o honynt yn bur faith, megys y "Y Wlad Nefol," o waith Bernard o Cluny. O'r bryddest hon y cymerwyd y pennillion melus,

"Jerusalem the golden
With milk and honey blest," &c.

Gyda chaniatâd y Golygydd, rhoddaf yma emyn o gyfieithiad Dr. Neale allan o hen awdwr Groegaidd yn y 9fed ganrif, Joseph o'r Studium, yr hon oedd fonachlog yn Nghaercystenyn.

THE RETURN HOME.

Safe home, safe home in port!
Rent cordage, shattered deck,
Torn sails, provisions short,
And only not a wreck:
But oh! the joy upon the shore
To tell our voyage-perils o'er!

The prize, the prize secure!
The athlete nearly fell;
Bare all he could endure,
And bare not always well:
But he may smile at troubles gone
Who sets the victor-garland on!

No more the foe can harm;
No more of leaguered camp,
And cry of night-alarm,
And need of ready lamp:
And yet how nearly he had failed,—
How nearly had that foe prevailed!

The lamb is in the fold
In perfect safety penned;
The lion once had hold,
And thought to make an end;
But One came by with wounded side,
And for the sheep the Shepherd died.

The exile is at home!
O nights and days of tears,
O longings not to roam,
O sins, and doubts, and fears,—

What matter now, when (so men say)
The King has wiped those tears away?

O happy, happy Bride!
Thy widowed hours are past,
The Bridegroom at thy side,
Thou all his own at last!
The sorrows of thy former cup
In full fruition swallowed up!

Yr oeddwn wedi meddwl sylwi ychydig ar y darnau a gynnwysir yn y llyfr o weithoedd y pedwar prif fardd Ewropëaidd, sef Dante, Shakespeare, Milton, a Goethe; ond gwelaf fod yn rhaid i mi ymattal. Fel y gellir casglu oddiwrth y teitl, mae y gyfrol wedi ei pharotoi i ddechre ar gyfer darllenwyr Americanaidd, ac wedi ei hadargraffu yn y wlad hon. Gwel pawb sydd dipyn yn gydnabyddus â llenyddiaeth yr ochr arall i'r môr ei bod yn dwyn arwyddion o'i tharddiad yn y mân gyfeiriadau personol a geir ynddi yma ac acw, y rhai yr addefwn eu bod yn ddyddorol, er yn ammheus weithiau o berthynas i'w chwaeth. Ond am y mwyafrif mawr o nodiadau ar bersonau a phryddestau, y maent yn wir werthfawr, ac yn chwanegu llawer at y budd a'r boddhâd o ddarllen y gyfrol. Dyma'r nodiad a ragflaena gyfieithiad i'r Ffrancaeg o hymn adnabyddus Charlotte Elliott, "*Just as I am.*" "A foreign lady in mourning, passing through Geneva, Switzerland (in September 1857), where she knew no one, wished to call upon a Christian, whose name she was acquainted with; and not finding him, left at his house eighty francs,—in part to print and distribute the following hymn [h.y., y cyfieithiad Ffrancaeg], and in part for a work of charity; not wishing to pass through that city, she said, without leaving there a mark of her affection." Wedi gweled hwna, teimlais innau awydd i wneyd rhydd-gyfieithiad o'r pennillion er mwyn y darllenydd Cymreig.

FEL'R WYF YN AWR.

"A'r hwn a ddêl ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim."—Ioan vi. 27.

Fel 'r wyf yn awr—a'm hunig blê,
Dy waed a lifodd yn fy lle,
A 'th alwad arnaf eto 'n gre',
Oen Duw, yr wyf yn d'od,

Fel 'r wyf yn awr—heb oedi 'n hir.
Na chael oddiwrth un bai yn glir,
Yn aflan am ymgeledd wir,
Oen Duw, yr wyf yn d'od.

Fel 'r wyf yn awr—dan dywell hin
Ammheuon, ofnau, ymdrech flin,
A gwynt a thonau yn fy nhrin,
Oen Duw, yr wyf yn d'od.

Fel 'r wyf yn awr—yn dlawd, yn ddall,
Am olwg, cyfoeth, gras di-ball,
I lenwi ynof bob rhyw wall,
Oen Duw, yr wyf yn d'od.

Fel 'r wyf yn awr, i gael glanhâd,
Maddeuant, croesaw, esmwythâd,
Yn unol â'th addewid rad,
Oen Duw, yr wyf yn d'od.

Fel 'r wyf yn awr—i fod am byth
Yn eiddot ti, a gwneyd fy nyth
Yn nghynhes gôl dy serch di-lyth,
Oen Duw, yr wyf yn d'od.

Ar gyfer hwna dodwn gyfieithiad o ddernyn bychan allan o Tennyson; a gwylied y darllenydd rhag, wrth esgeuluso gwneyd yn ol y cyntaf, i'w amgylchiad droi allan yn engraifft o'r ail.

Y MORWYNION FFOL.

Matt. xxv.

Hwyr, hwyr, mor hwyr! a'r nos yn oer a du;
Hwyr, hwyr, mor hwyr! ond croesaw eto sy.
"Rhy hwyr, rhy hwyr! dim croesaw i chwi 'n awr!"

Ni feddem olew, ysywaeth, dyna'r gwir,
A chawn faddeuant am ymdroi yn hir.
"Rhy hwyr, rhy hwyr! ni ddowch i mewn yn awr."

Dim lamp, mor hwyr! a'r nos yn brudd dros ben!
Gadewch in' ddyfod i'r ystafell wèn.
"Rhy hwyr, rhy hwyr! ni ddowch i mewn yn awr."

Mae 'r Priodasfab yn un tyner iawn,
Agorwch in', cusanu ei draed a wnawn.
"Na, na, rhy hwyr! ni ddowch i mewn yn awr."

Y cwbl a ychwanegaf ydyw, fod y gyfrol o ran maint yn *royal 8vo*, a'i phris mewn llïan yn hanner gini, yr hyn am dros fil o du dalenau sydd dra chymedrol.

J. EVANS, *Clynnog.*

---

TRAETHODAU BYWGRAFFYDDOL. — SYR HUGH OWEN, *gan* T. L.

Llundain: Cymdeithas y Traethodau Crefyddol.

DYMA y Rhif. I., o'r Traethodau Bywgraffyddol Cymreig y bwriedir eu cyhoeddi gan glodwiw Gymdeithas y Traethodau Crefyddol. Dywedir wrthym fod bywgraffiadau yn cael eu parotoi am Griffith Jones o Landdowror, Charles o'r Bala, a Christmas Evans, ac am eraill i'w canlyn; a siomir ni yn fawr os na bydd traethodau o'r fath yma yn dderbyniol iawn gan y Cymry.

Mae y traethodyn bywgraffyddol cyntaf, am Syr Hugh Owen, yn bobpeth y gellir ei ddymuno; y papyr a'r argraffwaith yn dda, a'r cynnwysiad yn wir ganmoladwy. Enw a ddylai fod, ac a fydd, yn hysbys a chlodfawr yn Nghymru am oesoedd

lawer yw enw HUGH OWEN o Lundain. Yr oedd efe yn caru gwlad ei enedigaeth nid ar air a thafod yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd. "Efe a fu yn brif offeryn i ddwyn cyfundrefn yr Ysgolion Prydeinig a Thramor i Gymru, ac wedi hyny y prif offeryn yn sefydliad Coleg Normalaidd Bangor i godi athrawon i'r Ysgolion Dyddiol; a pharhaodd yn Ysgrifenydd Mygedol y coleg hwnw hyd ddydd ei farwolaeth. . . Efe a gychwynodd y Gymdeithas Brydeinig i addysgu y Mud a'r Byddar yn Aberystwyth, a'r hon a symudwyd wedi hyny i Abertawy, lle y mae erbyn hyn yn sefydliad effeithiol a blagurog. . . . Ond y gorchwyl y rhoddodd fwyaf o amser a llafur ato, yn ddiau, yn ystod ei holl fywyd gweithgar, oedd y Brifysgol i Gymru. Yr oedd wedi ymdaflu i'r amcan hwn gorff ac enaid. Costiodd iddo lawer mwy o lafur, mwy o bryder, a mwy o draul, nag y mae nemawr yn gwybod." A'i "ddyfalbarhâd diball yn curo wrth ddrws y Llywodraeth, a wnaeth i Mr. Gladstone o'r diwedd benodi ar Ddirprwyaeth i chwilio i mewn i sefyllfa Addysg yn Nghymru." Yn sicr, yr oedd gwladgarwr o'r fath yn haeddu yr anrhydedd a roddodd ein Brenines iddo trwy ei godi i radd Marchog, yn SYR Hugh Owen. Eithr ni chafodd wisgo ei deitl teilwng ond am ryw bum' mis cyn i'r angeu ddyfod, a'i anfon i orphwys oddiwrth ei lafur, er chwithdod dwys i'w gyfeillion lawer.

Gwelir yn y bywgraffiad hwn fod Syr Hugh yn weithgar gydag amryw achosion da heblaw y rhai yn dal perthynas â Chymru, a'i fod yn ddirwestwr ffyddlawn, ac heblaw y cwbl yn gristion gloew. A cheir pennodau addysgiadol ar brif nodweddion ei gymeriad, y rhai y byddai yn dda i'n holl gyfeillion ieuainc eu darllen a'u hastudio yn fanwl. Ynddynt y dangosir ei ofal tyner am ei fam weddw, ei anwyldeb o'i blant a'i ŵyrion, ei foneddigeiddrwydd ymarferol, ei haelfrydedd cymwynasgar, ei benderfyniad a'i ddyfalbarhâd, a diffuantrwydd a grym ei grefydd.

Addurnir y llyfr â phortread cywir o hono, a gymerwyd o'r *Sunday at Home*. Nid rhaid i ni, dybygem, hysbysu i neb pwy yw y "T. L." a ysgrifenodd y bywgraffiad hwn. Pwy ni ŵyr am ein cyfaill Mr. Levi, golygydd medrus *Trysorfa y Plant?* Efe yw goruchwyliwr Cymdeithas y Traethodau Crefyddol yn Nghymru; ac nis gallesid cael neb cymwysach i'r cyfryw wasanaeth.

---

CYFAILL Y CLAF A'R ADFYDUS. *Gan y Parch.* ROBERT THOMAS, *Llanllyfni.*

Penygroes: Argraffwyd a Chyhoeddwyd gan G. Lewis.

MAE y llyfr bychan destlus hwn yn cynnwys pigion o adnodau a phennillion hynod gymhwys i bersonau mewn nychdod ac adfyd, gyda detholion o sylwadau priodol gan amryw bregethwyr hen a diweddar. Rhywbeth yn gofyn llawer o ddoethineb a thynerwch yw ymweled â chleifion ac âg eraill mewn profedigaethau; a cheir gan y "Cyfaill" hwn lawer o gymhorth tuag at wneyd hyny yn rhwydd ac adeiladol. A phan fyddo'r claf ei hun yn gallu darllen, bydd ganddo gyda'r llyfryn hwn yn hylaw yn ei ymyl, gydymaith a sieryd âg ef mewn modd hyfryd a phwrpasol, ac a rydd iddo "achosion i ganu y nos."

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA Y RHYL.

RHAGFYR 5, 6, A'R 7FED, 1882.

LLYWYDD,—Y Parch. O. THOMAS, D.D.

(*Parhâd o tu dal.* 32.)

DYDD MERCHER, RHAGFYR 6ED.

*Cyfarfod Pregethwyr* } *am* 10 30.
*Cyfarfod Blaenoriaid* }

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am* 2 *o'r gloch.*

DECHREUWYD trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. John Jones, Pwllheli.

I. Hysbyswyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Llanfyllin, Ebrill 16, 17eg, a'r 18fed, 1883. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i ddechre am ddau o'r gloch dydd Llun, yr 16eg.

Daeth hysbysrwydd i law hefyd yn rhy ddiweddar i'w gyhoeddi yn nghyfarfod y Gymdeithasfa y cynnelir y Gymanfa Gyffredinol nesaf yn Abertawe, Mai 29, 30, 31ain, a Mehefin 1af, 1883.

II. Derbyniwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yr hwn oedd fel y canlyn:—

Cadeirydd,—Mr. Eleazer Roberts, Liverpool. —1. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod diweddaf.—2. Cafwyd trafodaeth werthfawr ar y mater gohiriedig, sef "Gwaith a Chyfrifoldeb y Swydd Ddiacon-

aidd," yn benaf yn ei pherthynas â'r cyfarfod ydd eglwysig, i ofalu fod eu hunain yn bresennol. Cafwyd annogaethau cynhes i'r Diaconiaid ymarfer pob gweithgarwch crefyddol yn eu gwahanol ardaloedd, ac i fod yn zelog o blaid symudiadau y Cyfundeb y maent yn swyddogion ynddo.—3. Penderfynwyd i'r mater canlynol fod yn destun ymdriniaeth yn Nghyfarfod y Diaconiaid yn y Gymdeithasfa nesaf, ." Rhwymedigaeth Swyddogion Eglwysig i osod yr holl gasgliadau Cyfundebol ger bron yr eglwysi a'r cynnulleidfäoedd, i ddysgu ac annog i haelioni crefyddol, ac i fod eu hunain yn esiampl yn y gras hwn." Mr. P. Roberts, Llanelwy, i agor y mater.—PETER ROBERTS, *Llanelwy, Ysgrifenydd ar y pryd.*

III. Cyttunwyd yn unfrydol ar y tri phenderfyniad a ganlyn ar y Cyfarfod Eglwysig, a rhwymedigaeth yr aelodau i roddi eu presennoldeb ynddo, ac i amcanu ei wneyd yn fuddiol:—

1. Wrth ystyried fod y cyfarfodydd eglwysig wythnosol wedi bod o ddechreuad ein Cyfundeb yn fagwraeth i grefydd ysbrydol yn ein mysg, a bod lle i ofni nad ydynt mewn rhai manau mor effeithiol ag y buont unwaith, a'u bod hefyd yn cael eu hesgeuluso gan lawer o'n haelodau, ein bod yn dymuno annog ein holl swyddogion i bob ffyddlondeb gyda'r cyfryw gyfarfodydd, trwy ymdrechu bod yn bresennol ynddynt, ac hefyd trwy barotoi ar eu cyfer, fel y byddont yn cael eu dwyn ymlaen yn y fath fodd ag na byddo gan neb o'r aelodau un rheswm dros eu hesgeuluso.—2. Ein bod yn dymuno galw sylw yr holl aelodau eglwysig at y rheol yn y *Cyffes Ffydd* gyda golwg ar hyn, gan awgrymu fod esgeulusdra o'r cyfryw gyfarfodydd yn argoel cryf o ddirywiad mewn crefydd, ac yn anffyddlondeb i'w cyfammod eglwysig.—3. Ein bod yn anfon y mater hwn yn ei holl agweddau a'i gysylltiadau i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol, ac oddiyno i'r eglwysi, i'r dyben o addysgu yr aelodau yn gyffredinol ar fuddioldeb y cyfarfodydd hyn fel moddion nid yn unig i adrodd profiadau crefyddol, ond hefyd i'w cynnyrchu.

IV. Cymeradwywyd yr ail waith y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr, y rhai oeddynt wedi eu cymeradwyo y waith gyntaf yn Nghymdeithasfa Pwllheli. — Cymeradwywyd yr ail waith y Rheolau i ddewis Gweinidogion ar Eglwysi, y rhai oeddynt yr un modd wedi eu cymeradwyo y waith gyntaf yn Mhwllheli. —Penodwyd hefyd Dr. Thomas a'r Parch. R. Lumley i edrych dros y cyfieithiad o'r Rheolau uchod i'r iaith Saesoneg, fel y galler cael cyfieithiad awdurdodedig gan y Gymdeithasfa o honynt ar gyfer ein heglwysi Seisonig.

V. Cadarnhäwyd y penderfyniad ar yr achos a ddaethai o Gyfarfod Misol Llundain.

VI. Cadarnhäwyd y penderfyniadau ar achos Dublin.

VII. Cadarnhäwyd etholiad y Parch. John Williams, Rhyl, yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn 1883.

VIII. Cyttunwyd, Fod y brodyr a enwyd yn y Cyfeisteddfod y dydd blaenorol i fod yn Bwyllgor i ystyried pa gyfnewidiad a ellir wneyd yn nhrefn cyfarfodydd y Gymdeithasfa, ac i ddwyn adroddiad i un o'r Cymdeithasfaoedd dyfodol.

IX. Cyttunwyd ar fod i'r Llywydd, ar ran y Gymdeithasfa, arwyddo y gofeb a ganlyn at ein Llywodraeth:—

At the Quarterly Association of the Calvinistic Methodists of North Wales, held at Rhyl, in the County of Flint, December 5, 6, and 7, 1882, it was unanimously agreed:—1. That we desire to express to Her Majesty's Government our high appreciation of the great boon conferred on the Principality by the Sunday Closing Act for Wales, the happy effects of which have already begun to be perceptible, and in doing so, to state our strong conviction, that in consideration of the great evils—social, moral, and political, constantly and inevitably resulting from the licensed sale of intoxicating liquors, — the greatest social need of the country at present is the removal of these evils; and, with a view to that end, we desire to press upon the Government the urgent necessity of speedily passing a measure, giving a legal power of restraining the issue or renewal of licenses to the ratepayers themselves, in conformity with a Resolution twice passed by the House of Commons. And, that we humbly request the Members of Parliament for North Wales to give their hearty support to such Measure when introduced.—2. That a copy of the above Resolution be sent to the Prime Minister, the Right Honorable W. E. Gladstone, M.P., and to the Home Secretary, the Right Honorable Sir W. V. Harcourt, M.P., and to all the Members for North Wales. —OWEN THOMAS, D.D., *Moderator.*

X. Yn absennoldeb y Parch. W. James, B.A., yr hwn oedd wedi ei luddias i fod yn bresennol gan farwolaeth ei dad, darllenwyd yr Adroddiad canlynol am "yr Arholiad Cymdeithasfaol Unedig i'r De a'r Gogledd:"—

Cynnaliwyd yr Arholiad hwn eleni ar y dyddiau gosodedig yn Nghroesoswallt a Thredegar; a dygwyd ef ymlaen ymhob ystyr arall hefyd yn unol â'r Rheolau. Yr Arholwyr oeddynt y Parchn. Dr. Edwards, Bala; Ezekiel Thomas, Abertawe; David Evans, B.A., Whitchurch; a W. James, B.A., Manchester; a'r materion perthynol i'r naill a'r llall oeddynt, *Duwinyddiaeth y Canoloesoedd; Cyfiawnhâd trwy Ffydd; Gwybodaeth Gyffredinol o'r Ysgrythyrau;* a'r *Epistol at yr Ephesiaid.*—O'r ymgeiswyr llwyddiannus yr oedd y rhai canlynol o'r Gogledd; a hwy a enwir yma yn ol trefn eu teilyngdod:—John C. Jones, Rhyl, Dyffryn

Clwyd; John Owen, Aberllefeni, Gorllewin Meirionydd; T. E. Roberts, Corwen, Dwyrain Meirionydd; S. T. Jones, Llanfairfechan, Arfon; Isaac J. Williams, Llandderfel, Dwyrain Meirionydd; E. J. Williams, Llanwyddyn, Trefaldwyn Isaf; Hugh Roberts, Talsarnau, Gorllewin Meirionydd; R. R. Morris, Caernarfon, Arfon; David Jones, Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd; R. Pryse Ellis, Bethesda, Arfon; David Jones, Tŷmawr, Lleyn ac Eifionydd; Edward Pierce, Trelogan, Fflint; J. E. Jones, Rhostyllen, Henaduriaeth Lancashire, &c.—Dymunir gwneyd yn hysbys i'r brodyr uchod fod y *Certificates* perthynol iddynt yn awr yn barod, ac y gallant eu cael trwy alw am danynt gyda Dr. Edwards, Bala, neu trwy i rywrai eraill wneuthur hyny drostynt. Mae yn anghenrheidiol i'r ffordd hon o'u ceisio gael ei dilyn, am nas gellir eu hanfon trwy y *post* heb fod perygl eu niweidio.—Y Materion ar gyfer Arholiad y flwyddyn nesaf sydd fel y canlyn:—1. Gwybodaeth Gyffredinol o'r Ysgrythyrau. Arholwr: Parch. Owen Jones, B.A., Liverpool.—2. O Rehoboam hyd Hezeciah, ynghyd a'r Prophwydi cyfoesol. Arholwr: Parch. W. M. Lewis, Tŷllwyd, Sir Benfro.—3. Cyflwr Dyn wrth Natur, yn Athrawiaethol a Hanesyddol. Arholwr: Parch. Dr. Edwards, Bala.—4. Duwinyddiaeth yr Eglwys o ddiwedd yr Oes Apostolaidd hyd amser Cystenyn Fawr. Arholwr: Parch. D. Evans, B.A., Whitchurch, Sir Forganwg.—W. James, *Arholwr Ymadawol.*

Dadganwyd cydymdeimlad y Gymdeithasfa â Mr. James yn ngwyneb yr hyn a'i lluddiodd i fod yn bresennol yn ein plith, a chyflwynwyd iddo ddiolchgarwch am ei wasanaeth gwerthfawr fel Arholydd.

XI. Argymhellwyd ein holl swyddogion eglwysig i fod yn llwyrymwrthodwyr â'r diodydd meddwol, ac i roddi eu dylanwad o blaid yr achos Dirwestol. Cadarnhäwyd yr annogaeth i ymdrechion lleol gyda Dirwest ac o blaid *Local Option*, ac i ddwyn i weithrediad y penderfyniadau a basiwyd yn Nghymdeithasfa Harlech.

XII. Galwyd sylw at yr wythnos weddïo sydd i'w chynnal yn nechre y flwyddyn nesaf; annogwyd i gynnal cyfarfodydd gweddïau, ac i ddymuno wyneb y Meistr mawr ar y gwaith.

XIII. Cadarnhäwyd yr annogaeth o blaid lledaeniad y cyhoeddiadau cyfnodol. Sylwid fod addewid am erthyglau oddiwrth amryw o'r gweinidogion ieuainc o Dde a Gogledd i ymddangos yn y Drysorfa y flwyddyn nesaf.

XIV. Cadarnhäwyd y penderfyniad yn dadgan llawenydd oblegid y symudiad at fwy o undeb a chydweithrediad ymysg ein heglwysi Seisonig, ac yn dadgan dymuniad am eu llwyddiant.

XV. Cafwyd Adroddiad cysurus am ansawdd yr Achos o fewn cylch Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd gan y Parchn. D. M. Davies, Nantglyn, a R. Williams, Tanyfron. Amlygwyd llawenydd y Gymdeithasfa o glywed yr Adroddiad, ac o fod sylw yn cael ei wneyd yn yr Adroddiad o Ganiadaeth Grefyddol.

Dydd Iau, Rhagfyr 7fed.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 8 30 yn y bore.*

XVI. Coffäwyd yn barchus a hiraethlawn am y diweddar Barchedig John Evans, Croesoswallt, yr hwn a symudwyd i dderbyn ei wobr wedi y Gymdeithasfa ddiweddaf. Sylwid fod elfenau amlwg ei gymeriad i'w gweled ynddo ar ei ddyfodiad i'r Athrofa tuag un mlynedd ar bymtheg yn ol. Yr oedd efe y pryd hwnw yn gydnabyddus â llenyddiaeth Seisonig, a'i syched yn anniwall am wybodaeth. Yr oedd gwreiddioldeb yn ei feddyliau ac yn ei ddull o'u traethu, ac yr oedd ynddo o'r dechre frwdfrydedd gyda phregethu. Bu yn ystod oes fer yn troi mewn amrywiol gylchoedd, ac yn dra defnyddiol ynddynt oll; ac yr oedd ei farwolaeth gynnar yn golled i Gymru. Gwnai sylwadau o'i eiddo yn y "seiat fawr," yn ystod ei arosiad yn Garston a Liverpool, argraff mor ddofn â dim o'i wasanaeth cyhoeddus. Gwnaeth lawer gyda llenyddiaeth, ac yr oedd yn ei fwriad wneuthur llawer yn chwaneg. Pe cawsai fyw, bwriadai ddwyn cyfrol allan ar yr Hen Oruchwyliaeth. Gellir dywedyd iddo fyw llawer mewn ychydig o flynyddoedd. Bu fyw lawer yn Nghroesoswallt, er mai dwy flynedd a fu ei arosiad yno. Rhoes argraff ddwys ar y dref ac ar ei eglwys, a dynodd allan haelfrydedd mawr. Profodd nerth crefydd yn ei fisoedd diweddaf mewn dyoddef. Fel ei Feistr mawr, perffeithiwyd ef trwy ddyoddefiadau. Y mae addysg oddiwrtho i weinidogion ieuainc. Pe buasai wedi aros yn hir heb ddechre gweithio, buasai wedi cael ei alw o'r byd cyn gwneyd nemawr ddaioni ynddo.

Penderfynwyd fod yr Ysgrifenydd i ddadgan mewn llythyr gydymdeimlad y Gymdeithasfa â'i weddw a'i blant amddifaid. Penderfynwyd hefyd fod cofion serchog y frawdoliaeth yn cael eu hanfon at y Parch. Robert Hughes, Conwy, yn ei waeledd.

XVII. Yn ddilynol cafwyd ymdriniaeth fer ar y pwnc o athrawiaeth y penodasid arno yn flaenorol, sef *Offeiriadaeth Crist.*

Sylwid mai pwnc mawr yr efengyl yw hwn. Yr oedd yn angenrheidiol cael un rhyngom ni â Duw. Yr ydym ni oll yn greaduriaid cyfrifol i Dduw; a'r gwir am danom ydyw, "Pawb a bechasant," ac "anghyfraith yw pechod;" a rhaid i Dduw

sefyll at ei gyfraith. Rhaid i'n mater ni gael ei benderfynu yn fuan mewn cymmod, neu i ni gael ein gyru ymaith oddiwrth Dduw yn dragywydd. Ar gyfer hyn, mor werthfawr yw fod i ni Offeiriad mawr. Yr oedd Melchisedec yn offeiriad wedi ei ordeinio yn neillduol gan Dduw, ac y mae Crist yn Offeiriad yn ol urdd Melchisedec. Ni wnaethai pechadur y tro i ni; rhaid oedd i ni gael Un didoledig oddiwrth bechaduriaid. Un felly yw ein Hiachawdwr. Baban glân ydoedd efe yn Bethlehem, a cherddodd lygad yn llygad â'r ddeddf trwy ei holl fywyd. Byddai y bobl dan y gyfraith yn dyfod âg aberth i'r offeiriaid—creadur diniwed—un rhy fychan i bechu. Ond am Hwn, offrymu ei hun y mae; ac y mae ei Berson ef yn fwy na'r ddaear a mwy na'r nefoedd—mwy na'r greadigaeth yn gyfan. Nid iawn cydbwys a gafwyd, o herwydd "EFE yw yr iawn." Ymddangosodd efe i ddileu pechod trwy offrymu ei hun. Yn ei farwolaeth nid adgofio pechodau a gafwyd: nid *renewal* o'r *bill*, ond *iawn*.

Un o'r drychfeddyliau cryfaf am Iesu Grist fel Offeiriad yw ei fod dros ddynion at Dduw, megys y mae efe fel Prophwyd dros Dduw atom ni. Gan hyny, am ei fod dros ddynion at Dduw, rhaid oedd iddo fod yn un o honom. Un wedi ei gymeryd o blith dynion oedd yr offeiriad i fod. Talasai angel i ddyfod dros Dduw atom ni, fe allai; ond ni wnaethai i fyned drosom ni at Dduw. Un o'r pethau penaf a ddywedir am dano yw ei fod yn parhâu yn ei swydd. Gweinyddu ei swydd yr oedd efe wrth farw. Yr oedd marwolaeth yn lluddias i'r offeiriaid Iuddewig barhâu; ond Hwn nid oedd ei farwolaeth yn lluddias iddo barhâu. Y mae yn Offeiriad yn awr, a ffordd newydd a bywiol at y Tad wedi ei chysegru trwy ei gnawd ef.

Fel Offeiriad y mae yn sefyll mewn perthynas neillduol iawn â ni. Fel Prophwyd y mae yn dwyn perthynas â'r angylion. Ac felly hefyd fel Brenin. Ond fel Offeiriad, dwyn perthynas â ni y mae. Fel Offeiriad y mae yn sefyll rhyngom â Duw fel Bôd personol; nid yn unig saif mewn perthynas â gwirionedd, ond â Duw drosom. Nid peth bach oedd cael un a wnai y tro yn y berthynas yma. Nid oedd yr un mewn bod ymhlith holl greaduriaid Duw y gwnaethai ordeiniad Dwyfol ef yn gymhwys i'r swydd. Nis gallasai Hollalluogrwydd greu un cymhwys. Ac yr oedd rhyw wneyd yn anghenrheidiol ar y Person Dwyfol hwn, er ei addasu i'r swydd o Offeiriad drosom. Nid heb lw y gwnaed ef yn Offeiriad. Buasai yn wastraff ar lw ei gymhwyso at gysgod. Y mae y llw yn ein harwain i'r tragywyddoldeb bore. Dan yr hen oruchwyliaeth yr oedd yr offeiriad a'r aberth ar wahan. Gwaed *arall* fyddai gynt—un yn offeiriad a rhywbeth arall yn aberth. Ond y mae hwn yn myned at yr allor heb ddim i'w offrymu ond efe ei hun. Y mae efe yn Fachnïydd drosom. Peth mawr oedd cael y fath un i fechnïo drosom. "Myfi a fechnïaf drosto; o'm llaw i y gofyni ef," meddai Judah wrth ei dad gyda golwg ar ei frawd Benjamin. Felly y dywedai y Mab wrth ei Dad gyda golwg ar bechadur, "Myfi a fechnïaf am dano: er gwaethaf pechod, er gwaethaf uffern, gofalaf fi am ddyfod âg ef adref. Os na waredaf ef, byddaf euog o fai yn dy erbyn byth. Nid ystyriaf fod genyf hawl i fod yn y nefoedd heb i mi ddwyn y neb a gredo ynof i ddiogelwch tragywyddol."

Bwriedir ymdrin ymhellach â'r pwnc hwn yn y Gymdeithasfa nesaf.

WILLIAM WILLIAMS,
*Ysgrifenydd.*

O.Y. Dysgwylir i'r rhai a ddewisir i'w hordeinio y flwyddyn nesaf fod yn bresennol yn Llanfyllin, Nos Lun, Ebrill 16.

---

### SYMUDIAD GWEINIDOG.

Y MAE eglwys Rhyd bach, Lleyn, wedi rhoddi galwad i'r Parch. W. T. Jones, Enlli, ddyfod yno i weinidogaethu, ac yntau wedi cydsynio â'r alwad; ac y mae'r dewisiad wedi ei gadarnhâu gan y Cyfarfod Misol. Hyderir y ceir cyn hir olynydd teilwng i Mr. Jones fel esgob Ynys Enlli.

---

### YR ARHOLIAD CYMDEITHASFAOL.

TESTYNAU arholiad y flwyddyn hon sydd fel y canlyn:—1. Gwybodaeth Gyffredinol o'r Ysgrythyrau. Arholydd: Y Parch. O. Jones, B.A., Liverpool.—2. O Rehoboam hyd Hezecïah, ynghyd a'r Prophwydi Cyfoesol. Arholydd: y Parch. W. M. Lewis, Tŷ llwyd, Sir Benfro.—3. Cyflwr dyn wrth natur, yn Athrawiaethol a Hanesyddol. Arholydd: y Parch. Dr. Edwards, Bala.—4. Duwinyddiaeth yr Eglwys o ddiwedd yr Oes Apostolaidd hyd amser Cystenyn Fawr. Arholydd: y Parch. D. Evans, B.A., Whitchurch, Caerdydd.

---

### BETTWS Y COED.

CYNNALIWYD cyfarfod pregethu blynyddol gan y Methodistaid yn Mettws y Coed y Nadolig diweddaf fel arfer. Y gweinidogion a fuont yn gwasanaethu oeddynt y Parchn. Francis Jones, Waunfawr; W. Jones, Penrhyndeudraeth; a J. Harries Jones, M.A., Ph.D., Trefecca. Yr oedd rhyw ddylanwad

neillduol i'w deimlo trwy y cyfarfod, yn fwy felly nag y gwelwyd er ys rhai blynyddoedd. Yn wir, dywedai amryw na ddarfu iddynt deimlo cymaint ag yn y cyfarfod hwn er amser y diwygiad cyffredinol a fu yn y wlad yma oddeutu 23 o flynyddau yn ol. Hyderwn y bydd ffrwyth y cyfarfod i'w weled am amser maith eto i ddyfod.—*J. H.*

---

### CYMRY SPENNYMOOR.

Mae yr achos yn y lle uchod wedi bod o dan gwmwl yn ddiweddar o herwydd prinder gwaith a bychander y cyflog er ys amryw flynyddau, er fod gan y Cymry yno weinidog ffyddlawn a llafurus, ac hefyd gapel cysurus wedi costio yn agos i £700. Casglodd y brawd ffyddlawn E. Hughes, oddiar gynulleidfäoedd Cymru a Liverpool, y swm o £500. Ond er ys llawer o amser yr oedd yr eglwys yn dyoddef oddiwrth dlodi, fel yr oedd yn methu talu y llogau oedd ar y gweddill. Yn wyneb hyny, darfu i Gyfarfod Misol Liverpool dalu y llogau dros y frawdoliaeth yn Spennymoor. Erbyn hyn y mae yn hyfryd genym nodi fod gwedd newydd ar yr achos. Mae y cyfeillion wedi ymwroli, a myned oddiamgylch a chasglu £40, ac y maent wedi rhoddi mur newydd a *gate* haiarn o gwmpas y capel. Ac y mae yr eglwys a'r gynnulleidfa wedi cynnyddu. Oni buasai am y cymhorth y mae y Gymdeithas Genadol Gartrefol wedi ei roddi i Spennymoor a Witton Park, ni buasai ein brodyr Cymreig yno yn gallu cadw yr achos heb ei chwalu; canys nid ydym yn deall fod un enwad arall yn rhoddi cymhorth i gadw achos crefyddol yn y parthau anghysbell hyn.—*J.*

---

## Bywgraffiaeth.

### Y DIWEDDAR BARCH. JOHN RICHARDS, LLECHRYD, ABERTEIFI.

*Gan y Parch.* B. L. Roose, *Holt, Wrexham.*

Wedi hir ddysgwyl am weled ychydig o hanes bywyd y diweddar a'r anwyl Mr. Richards gan rai neu rywun o weinidogion Sir Benfro, i ba rai yr oedd mor adnabyddus am dros ddeugain mlynedd, nid oes genym ond cymeryd y gorchwyl yn ein llaw ein hunain, er mor anghymhwys y teimlwn at y gwaith. Ac y mae yr anghymhwysder hwn yn tarddu yn benaf oddiar ein diffyg cydnabyddiaeth âg ef yn more ei oes, ynghyd a'r rhan fwyaf o'i fywyd, ac o'i lafur gweinidogaethol. Daethom ni i gydnabyddiaeth ag ef drwy gysylltiad priodasol âg un o'r teulu oddeutu deng mlynedd yn ol; a rhoddodd hyn fantais i mi wybod yn well am dano fel dyn a christion na llawer eraill ydynt yn gwybod mwy am dano fel pregethwr. Buasai o'r bron yn anfaddeuol ynom adael y fath gymeriad dysglaer a'r fath bregethwr rhagorol, oedd mor adnabyddus drwy yr oll o Ddeheudir a rhan helaeth o Ogledd Cymru, heb ysgrifenu gair am dano, er mwyn y teulu, y perthynasau, a'r ugeiniau o filoedd a fu yn gwrando arno yn pregethu ar y Sabbothau, ac mewn Cyfarfodydd Misol a Chymanfäoedd.

Gellir yn ddibetrus ei restru ymysg goreuon gweinidogion y Deheudir; ac yr ydym o'r bron yn sicr na ddigia yr un o honynt am ddyweyd ei fod fel pregethwr mor nerthol, dylanwadol a phoblogaidd â neb sydd yn fyw o'r rhai a ystyrir yn golofnau; a pharhaodd ei ddylanwad a'i boblogrwydd yr un hyd y diwedd. Un o'r profion goreu o hyn ydoedd fod cynifer, os nad mwy, yn cyrchu i wrando arno ef âg ar unrhyw un o brif weinidogion y siroedd yr elai iddynt.

Dylem yn y fan hon grybwyll i'r Parch. B. D. Thomas, Gwastad, ysgrifenu ychydig linellau i'r *Goleuad* am ei farwolaeth a'i gladdedigaeth, am yr hyn y teimla y teulu yn ddiolchgar; ond gan nas appwyntiwyd neb i gymeryd i lawr y sylwadau gwerthfawr a wnaed ddydd ei gladdedigaeth gan weinidogion Siroedd Aberteifi a Phenfro, ac yn enwedig y darluniad cywir o hono fel pregethwr gan y Parch. John Davies, Blaenanerch, collwyd yr oll. Yn sicr, amryfusedd ac anybendod o'r mwyaf oedd hyn. Dylasai blaenoriaid Llechryd yn anad neb ofalu am yr hyn a fuasai yn gaffaeliad gwerthfawr i ysgrifenu ei fywgraffiad.

Ganwyd Mr. Richards mewn pentref ar làn y môr, o'r enw Solfach, Sir Benfro, Medi 1, 1812. Boddodd ei dad tra ar fordaith, pan nad oedd efe ond chwe' blwydd oed. O'r adeg hono ymlaen cafodd ei ddwyn i fyny dan ofal ei daid a'i nain, neu fel y dywedant yn y Deheudir—*tad cu* a *mam gu*. Yr oedd ei dad cu yn hoff iawn o hono ac yn dra gofalus am dano; a gadawodd iddo yn ei ewyllys dyddyn bychan, yr hwn sydd eto yn meddiant y teulu.

Treuliodd rai blynyddoedd yn derbyn ei addysg mewn ysgol yn Solfach; wedi hyny anfonwyd ef i ysgol y Felincabol, a gedwid gan T. James, pregethwr gyda'r Independiaid, yr hwn a arferai bob dydd weddïo dros y plant a'u hannog hwythau hefyd i weddio; a dyma'r pryd y gwnaed yr argraff grefyddol gyntaf ar ei feddwl. O hyny allan gwnai arferiad o weddïo bob dydd yn y dirgel; a phenderfynodd hefyd nad elai byth i'r môr, o herwydd fod y morwyr yn tyngu a chymeryd enw Duw yn ofer. Wedi hyny aeth i ysgol Tyddewi, lle y bu am amser.

Dywedir ei fod pan yn fachgen yn *bert* iawn, fel y dywedant yn y Dê, hyny yw fel y dywedir yn y Gogledd, yn dlws neu brydferth, megys ag yr oedd hefyd yn hardd a lluniaidd wedi tyfu i oedran gŵr. Yr oedd yn fwy hoff o fynychu y cyfarfodydd crefyddol a gynnelid yn y capel yn Solfach nag o ddilyn y chwareuyddiaethau a ffynent y pryd hyny ymhlith ieuenctyd. Ymddengys ei fod dan argraffiadau crefyddol pan yn dra ieuanc, y rhai a ddyfnhäwyd wrth wrando

William Llewelyn a William David yn pregethu mewn Cyfarfod Misol a gynnelid yn ei gartref. Bu dan fath o argyhoeddiad am yspaid dwy flynedd, yr hyn oedd yn gymhwysder mawr iddo mewn blynyddoedd dilynol i ymdrin âg achosion personau dan argyhoeddiadau cyffelyb; a diammheu i'r hyn a brofodd yn foreuol effeithio yn ddwys a pharhaol ar ei ysbryd a'i weinidogaeth drwy ei holl fywyd. Y mae yn ffaith anwadadwy yn mhrofiad pob dyn meddylgar, nad ydyw ein teimladau a'n profiadau yn ystod tymmor ein bywyd ond megys ailargraffiad neu ailadroddiad o'n teimladau a'n profiadau yn nghyfnod boreuaf ein hoes. Ac oni chadarnheir hyn yn y llinellau prydferth dilynol o eiddo y bardd Wordsworth?—

"My heart leaps up when I behold
A rainbow in the sky:
So was it when my life began;
So is it now I am a man;
So let it be when I shall grow old,
Or let me die!
The child is father of the man."

Addefa pawb a'i clywodd mai gweddïwr taer, effeithiol, ac heb ei fath o'r bron oedd Mr. Richards; ac un rheswm am hyny yn ddiau ydoedd y ffaith ei fod yn arfer gweddïo llawer pan yn fachgen ieuanc, fel y mae yr hyn a ganlyn yn un prawf o hyny. Pan yr oedd ei daid un diwrnod yn dyfod i chwilio am dano, cafodd hyd iddo o'r diwedd yn yr ystabl yn gweddïo; ac aeth ymaith heb aflonyddu dim arno; a phwy a ŵyr pa ddylanwad daionus a gynnyrchodd yr olygfa brydferth hon ar feddwl yr hen ŵr oedd hyd yn hyn yn anghrefyddol? a phwy all ddyweyd na weddïodd yntau yn llawer amlach a thaerach ar ol gweled John bach, y llanc *pert* a duwiol, ar ei liniau yn y dirgel yn ymbil â'i Dad nefol? a pha beth na roisem ninnau am gael clywed, pe buasai hyny yn bosibl, neu weled yn argraffedig, y weddi hono a offrymodd pan nad oedd neb yn ei weled na'i glywed, fel y tybiai efe, ond Duw gwrandäwr gweddi? Dywed y Dr. Owen mai yr hyn ydyw dyn gyda Duw yn y dirgel ydyw efe mewn gwirionedd. Clywsom gwyno lawer gwaith fod dawn gweddi yn colli o'n heglwysi, a dichon fod sail i'r gŵyn. Ond gadewch i ni am fynyd edrych wreiddyn y peth. A chaniatâu fod gwahaniaeth mawr yn noniau a galluoedd cynhenid dynion crefyddol, eto onid yw yn ffaith fod yr achos o'r diffyg y cwynir o'i herwydd yn gorwedd i raddau helaeth wrth ddrysau ein blaenoriaid ac eraill a lywodraethant ein heglwysi? Dywedwn yn ddibetrus, pe byddai iddynt roddi pob cefnogaeth i'r dynion ieuainc, a galw arnynt yn fwy mynych i arfer eu dawn yn yr Ysgol Sabbothol a'r cyfarfodydd gweddïau a'r cyfarfodydd eglwysig, y darfyddai yn raddol y cwyno a glywir mewn llawer eglwys. Nid yn y modd esgeulus yr ymddygir at lawer dyn ieuanc y dyddiau hyn, yr ymddygwyd at Mr. Richards yn nhymmor ei ieuenctyd. Na, gelwid arno yn fynych i weddïo yn gyhoeddus, a rhoddid iddo bob cefnogaeth i arfer ei ddawn. Yn y peth hyn yr oedd rhai o'r hen bobl yn fwy llygadgraff, ac yn rhagori ar lawer yn yr oes bresenol.

Ymunodd â chrefydd pan yn ieuanc, a derbyniwyd ef yn gyflawn aelod yn Chwefror y flwyddyn 1831, pan yr oedd yn ddeunaw mlwydd oed. Y gweinidogion a ymddyddanasant âg ef oeddynt y Parchn. William Morris a Thomas Richards; a'r Sabboth dilynol gweinyddwyd iddo ef ac eraill yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd gan y Parch. Thomas Harries. Yn fuan ar ol hyn cafodd y fraint o godi allor i Dduw yn y teulu, yn ngwyneb llawer o iselder meddwl; a pharhaodd gyda'r gwaith hyd y diwedd. Yn y flwyddyn ganlynol teimlodd awydd cryf i ddyweyd wrth ei gydgenedl, ac yn neillduol wrth ieuenctyd yr Ysgol Sabbothol, am eu sefyllfa ysbrydol rhyngddynt â Duw. Y blaenoriaid, yn canfod ynddo gymhwysder neillduol at waith y weinidogaeth, a'i hannogasant i ddechre pregethu; ond yr oedd rhyw yswildod rhyfeddol yn perthyn iddo ynglŷn â'r mater hwn, fel na fedrai ar y pryd wneyd y peth yn hysbys iddynt. Gofynwyd iddo eilwaith a oedd y peth yn gwasgu ar ei feddwl; ond yr oedd efe yn teimlo cymaint oddiwrth ei anghymhwysder i'r gwaith cyhoeddus fel nad allai anturio ymlaen. Pa fodd bynag, yn y flwyddyn 1836, galwodd yr eglwys arno yn ffurfiol i fyned i bregethu; a phan welodd yntau hyny, rhoddodd genad iddynt fyned â'i fater i'r Cwrdd Misol yn Trefîn; ac yno penodwyd y Parchn. W. Morris a Daniel Evans, Woodstock, i ymddyddan âg ef yn Nghwrdd Misol Caerfarchell, yn y flwyddyn 1837. Fel hyn, yr oedd ei ymuniad â chrefydd tra yn ieuanc yn fantais neillduol iddo fod yn ddefnyddiol a llwyddiannus yn nechreuad ei weinidogaeth. Gwelwn iddo ddechre pregethu pan yn 24ain mlwydd oed; ac urdeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth yn y flwyddyn 1849.

I brofi mor gymeradwy a phoblogaidd ydoedd yn nechreuad ei yrfa weinidogaethol, crybwyllwn yma iddo gael ei anfon ar daith i'r Gogledd gyda'r Parch. David Meyler, a hyny cyn bod ond ychydig flynyddoedd o oed fel pregethwr. Ac os nad ydym yn camgymeryd, dywedodd wrthym iddo gael y fraint o bregethu ar Green y Bala ar y daith hono, neu yn fuan iawn ar ol hyny, ac iddo gael oedfa nerthol a llewyrchus iawn, yn gymaint fel ag yr adgofiwyd iddo am y bregeth hono ymhen deugain mlynedd ar ol ei thraddodiad. Pan ar daith yn un o'i flynyddoedd diweddaf trwy ranau o Sir Feirionydd, gofynwyd iddo gan un o'r hen flaenoriaid, ai efe oedd y dyn ieuanc hwnw a bregethodd y flwyddyn a'r flwyddyn yn Sasiwn y Bala; ac wedi i'r blaenor adrodd y testun a rhanau o'r bregeth, dywedodd, "Ië." "Wel," meddai blaenor y lle wrtho, "brysiwch yma eto da chwi, Mr. Richards anwyl. Yr ydych chwi yn ddyn sydd yn llenwi y pulpud, ac nid rhyw frwynen o bregethwr, fel y *sparbils* sydd yn cael eu gwneyd y dyddiau hyn."

Clywsom ef yn ei oriau hamddenol, pan yn eistedd yn y gadair freichiau yn ei gartref cysurus yn Llechryd, yn adrodd gyda gwên ar ei wyneb am liaws o bethau a ddyg-

wyddodd ar ei daith gyntaf i'r Gogledd. Yr oedd yr hybarch Ddafydd Meyler yn ŵr cadarn yn yr ysgrythyrau, a phregethai yn sylweddol, eithr yn hynod sych ar brydiau. Yn fuan wedi cychwyn i'r daith, canfyddai yr hen ŵr fod y pregethwr ieuanc yn cael gwrandawiad llawer mwy astud nag ef, a bod ei bregethau yn dylanwadu yn llawer mwy nerthol ar y bobl ymhob man lle yr elent; a dechreuai deimlo yn anniddig ac ymddwyn o'r braidd yn angharedig at ei gyfaill ieuanc. Weithiau ceisiai ei attal i bregethu gan ei roddi i ddechre yr oedfa yn unig; ond ni fynai y blaenoriaid hyn, o achos yr oeddynt hwy wedi clywed sôn mawr am John Richards, y pregethwr ieuanc, cyn ei ddyfod i'r lle. Ac mewn un dref yn Arfon, cafodd Mr. Richards oedfa mor nerthol fel ag yr ystranciodd yr hen bregethwr, ac na fynai bregethu ar ei ol. Ond wedi disgyn o'r pulpud, cafodd wers dda a phriodol gan un o'r blaenoriaid, yr hon nad anghofiodd yn fuan; a chafodd Mr. Richards gefnogaeth i fyned ymlaen. Ar ol hyn ymddygwyd tuag ato yn dra gwahanol; a bu efe a Mr. Meyler yn gyfeillion mawr tra y bu yr olaf byw.

Ni buasem yn crybwyll y ffeithiau hyn, oni buasai eu bod yn gwasanaethu i ddangos mor boblogaidd a chymeradwy oedd Mr. Richards yn nechreuad ei weinidogaeth. Ymhen pedair blynedd wedi dechreu pregethu, priododd yn Medi 22ain, 1840, â Miss Eleanor Stephens, merch y diweddar Mr. James Stephens, Llechryd, yr hwn a fu yn flaenor am faith flynyddau, ac yn un o brif golofnau yr achos yn y lle; ac ni bu erioed briodas fwy hapus. Cafodd yn Mrs. Richards ymgeledd gymhwys yn ystyr uchaf y gair, am yr yspaid maith o ddeugain mlynedd. Cawsai hi ei dwyn i fyny mewn awyrgylch grefyddol o'i mebyd. Yn nhŷ ei rhieni y llettŷai holl bregethwyr a gweinidogion y cyfundeb a ddeuent i Lechryd a Blaenanerch at y Sabboth; a chlywodd lawer gweddi daer a offrymid ganddynt ar ei rhan hi a'i brodyr. A da genym allu hysbysu y rhoddir yr un croesaw eto i holl weinidogion y gair a ddeuant i'r lle gan un o'r meibion, sef Mr. John W. Stephens, yr hwn yn ddiweddar a wnaed yn Ustus Heddwch dros Sir Aberteifi. Dywedai eu tad wrthym unwaith ei fod ef yn credu fod y Brenin Mawr wedi ei fendithio ef yn ei amgylchiadau tymmorol i'r graddau y gwnaeth, am ei garedigrwydd tuag at ei weision. A diammheu fod mwy yn hyn nag a feddylia llawer; oblegid anaml, os byth, y clywir fod neb wedi methu yn eu hamgylchiadau o herwydd eu haelioni a'u llettŷgarwch tuag at weision Duw ac achos gwir grefydd; ond clywsom am amryw wedi ffaelu oeddynt grintachlyd a chybyddlyd, yn attal mwy nag a weddai iddynt. Mewn canlyniad i'w briodas, symudodd Mr. Richards o Solfach i Lechryd, lle y trigiannodd hyd ddydd ei farwolaeth. Gan nad oedd cysylltiad bugeiliol rhwng y gweinidogion a'r eglwysi y blynyddoedd hyny fel sydd yn awr, a'r gydnabyddiaeth am bregethu yn hynod fach, a chan fod tad Mrs. Richards wedi bod yn hynod lwyddiannus gyda'r chwareli oedd ganddo yn Cilgerran, ac wedi hyny yn Sir Gaernarfon, rhoddodd iddynt bob cynnorthwy i gario ymlaen y fasnach a ddechreuwyd gan Mrs. Richards pan oedd yn ieuanc. Bu iddynt ddeg o blant, saith o ba rai sydd eto yn fyw, sef dau o feibion a phump o ferched. Nid oedd efe ei hun yn ymrwystro â negesenau y bywyd hwn, fel y rhyngai fodd yr Hwn a'i galwodd at y gwaith pwysig a gyflawnai. Mrs. Richards, ynghyd a rhai o'r plant, a edrychai ar ol y *shop* a'r *Post Office;* a gofalai yntau am yr ardd a'r ychydig dir a ddaliai, gyda phethau eraill amgylchiadol. Nid ydym yn gwybod am neb a fu yn fwy diwyd, gofalus, a ffyddlawn gyda'r fasnach, er mwyn i'w phriod gael llwyr ymroddi i'r gwaith o bregethu. Hwylusai y ffordd iddo ef gael myned i'w fyfyrgell i barotoi ar gyfer y Sabboth a chyfarfodydd cyhoeddus, a hyny yn nghanol y prysurdeb mwyaf. Ac oni buasai am ei gofal hi yn y peth hyn, ni chyrhaeddasasai efe y fath enwogrwydd a phoblogrwydd fel pregethwr. "Hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth."

Yn ei deulu yr oedd Mr. Richards yn frenin. Ufuddheid iddo gan y plant oddiar wir gariad a pharch dwfn ato. Yr oedd efe mor dyner, llednais, a charuaidd, fel y gallent oll deimlo yn rhydd yn ei bresennoldeb, a myned yn agos iawn ato heb fyned yn hŷf arno. Gwyddai y plant yn dda nad oedd eu tad yn hoffi neb a gymerai ormod o hyfdra arno: ni wnai efe yn hŷf â neb arall, ac nid ewyllysiai i neb wneyd yn hyf arno yntau; ac am hyny cadwent bellder priodol oddiwrtho mewn rhai achosion ac ar rai adegau. Ni siaradai lawer â hwynt am fater eu heneaid; yn hytrach gweddïai fwy drostynt yn y dirgel ac yn y teulu, a chynghorai hwynt drwy lythyrau. Mae rhai rhieni a siaradant yn ddiddiwedd wrth eu plant am grefydd, ond nad ydynt mor ganmoladwy am roddi iddynt esiamplau da i'w dilyn, ac am gymeryd eu hachos mewn gweddi at orsedd gras. Un gair oddiwrtho ef a fyddai yn derfyn ar bob achos. Dylanwadai ar y plant drwy ei ymarweddiad duwiol, a'i weddïau taer a gafaelgar, nes gwneyd iddynt ddymuno ac ymdrechu bod yn grefyddol fel yntau. Yr ydym yn sicr y gallwn ddyweyd fod eu profiad hwy yn gyffelyb i'r eiddo plant yr enwog a'r duwiol Legh Richmond, y rhai a arferent ddyweyd;—"*We love religion, because we see papa so lovely and happy under its influence.*" Teimla y plant sydd gartref fod y tŷ yn wag hebddo, ac yn enwedig felly ar adeg yr addoliad teuluaidd fore a hwyr, a gedwid yn ddifwlch hyd y diwedd. Gofidiant yn ddwys am na chânt glywed ei lais na gwrandaw ar ei gynghorion tadol, a'i ymddyddanion adeiladol, byth mwy ar y ddaear; ac hiraethant fry am y nefoedd, a darllenant yn fwy helaeth am y lle yn awr nag o'r blaen.

Y mae Eglwys y Methodistiaid yn Llechryd wedi dyoddef colledion trymion yn ddiweddar trwy symudiadau blaenoriaid enwog, galluog a da o'u plith trwy angeu, sef James Stephens a William Stephens ei fab, Benjamin Harries ac eraill; ond y golled fwyaf fel yr addefant oll, oedd colli eu Hesgob, fel y galwai yr eglwys ef. Nid ystyrient un cyfarfod crefyddol yn gyflawn hebddo ef

Ni chynnygid cynnal cyfarfod eglwysig yn ei absennoldeb. Os methai gyrhaedd gartref o'r daith neu o'r Cyfarfod Misol erbyn noswaith y *Society*, newidid y noswaith arferol er mwyn cael ei gynnorthwy ef; ac yn wir yr oedd yn werth iddynt wneyd hyny, gan mor sylweddol, adeiladol, a phwrpasol fyddai ei sylwadau wrth drin profiadau y saint. Arweiniai ac addysgai hwynt yn dyner fel tad ei blant anwyl ganddo.

Gwasanaethodd yr eglwys yn rhad ac am ddim am dros ddeugain mlynedd, heb dderbyn cymaint â diolchgarwch mewn ffurf sylweddol; ac ni cheisiodd efe erioed ddim oddiar eu llaw, am fod Rhagluniaeth y nef wedi ei osod mewn amgylchiadau cysurus. Ac eto y mae yn syndod i lïaws fod yr eglwys wedi gadael i'r fath gymeriad dysglaer a gwerthfawr ddisgyn i'r bedd heb gymaint â dangos unrhyw arwydd o barch tuag ato yn y dull a grybwyllwyd. Clywsom ei fod unwaith wedi dyweyd gyda gwên ar ei wyneb:—"Fuasai fawr iddynt roddi i mi *speciol* aur, fel *present* bach am eu gwasanaethu." Ac y mae yn iawn a phriodol i ni hefyd adrodd ynglŷn â hyn, eu bod wedi bwriadu rhoddi hyny iddo; ond buont mor hwyrfrydig yn myned o amgylch y peth fel y collasant yr adeg am byth. Y mae efe heddyw mewn gwlad o oleuni pur a llachar, lle nad oes anghen am *spectacles* i ddarllen y gair, nac i ganfod gorchwyliaethau Duw mewn rhagluniaeth a gras. "Ni bydd nos yno; ac nid rhaid iddynt wrth ganwyll na goleuni haul, oblegid y mae yr Arglwydd Dduw yn goleuo iddynt."

*(I'w barhâu.)*

## Amrywiaethau.

### DIM ADEILADAETH.

MRS. SOMERVILLE, yr awdures enwog, a ddywed yn ei hunangofiant, "Gosododd fy mam fi mewn amser cyfaddas i ddysgu catecism Eglwys Scotland, ac i ddilyn yr holwyddori cyhoeddus yn yr eglwys. Byddai llawer o hen wragedd yn dyfod i'r cyfarfodydd hyn, y rhai a ddeuent, yn ddiau, er mwyn derbyn lleshâd. Yr oeddynt hwy yn rhai deallus iawn, ac yn gallu dyfynnodi pennod ac adnod o'r Bibl mor gywir â'r gweinidog ei hun. Yr wyf yn cofio iddo ef ofyn i un o honynt, "Peggy, beth oedd yn goleuo'r byd cyn i'r haul gael ei wneyd?" Wedi meddwl am fynyd, hi a atebodd, "Yn wir, syr, mae'r cwestiwn yn fwy cywrain nag ydyw o adeiladol."

### TRI DOSBARTH.

BYDDAF yn rhanu dynolryw yn dri dosbarth: y rhai sydd yn meddwl fod y peth a'r peth felly—y rhai sydd yn meddwl mai nid felly y mae—a'r rhai nad ydynt yn gofalu pa un a ydyw felly a peidio.—*Josh Billings.*

### ESGUS DROS BEIDIO CODI YN FOREU.

YR oedd mam yn dyweyd wrth ei bachgen, oedd yn chwannog i hir gysgu yn y bore, am y manteision o fore-godi; ac ebe hi wrtho, "Yr adar sydd yn codi foreuaf sydd yn pigo i fyny y pryfed i'w bwyta." "Ië, mam," ebe ei bachgen, "ond pe na buasai'r pryfed mor ffol a chodi yn foreuach na'r adar, ni buasent i'w cael i'w bwyta mor hawdd."

### LLEIHAD YMYFED.

MYNEGIR fod y swm o gwrw a ddarlläwyd yn ninas Caerlleon, yn 1882, yn llai o saith mil o farilau na hyny a ddarlläwyd yn 1881. Yn ol hyny, yr oedd llai o bedair mil ar ddeg i bymtheng mil o bunnoedd wedi eu gwario yno ar gwrw y flwyddyn ddiweddaf na'r flwyddyn o'r blaen.

## Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, RHAGFYR 4YDD, 1882.

BUOM y mis diweddaf yn ymweled âg amryw bentrefi yn nghymydogaeth Shillong, rhai yn agos a rhai yn bellach, megys Nongkrem, Mawklot, Sadew, Umsaw, Mawpyddang, &c.

Tachwedd 6ed.—Aethom ein dau i ymweled â Nongkrem a chysgasom yno noswaith. Cyrhaeddasom yn y prydnawn ar ddiwrnod y farchnad, a safasom rhwng yr ysgoldŷ a'r farchnad, ac yn fuan fe dynodd y canu gynnulleidfa dda ynghyd, ac yno y buom yn canu ac yn siarad bob yn ail nes y darfu i'r tywyllwch ein gorchfygu. Ni a gawsom gyfarfod go lew yn yr ysgoldŷ y noswaith, ac yr oedd nifer gweddol wedi dyfod ynghyd, rhai ieuainc yn benaf. Yr oeddent agos oll yn gallu darllen y Testament yn lled dda, ac yn awyddus i wybod beth oedd sefyllfa Prydain cyn i'r efengyl gyrhaedd yno, a pha effaith a dylanwad oedd Gair Duw a chrefydd yr Iesu wedi ei gael ar y bobl yn y wlad; a oeddent yn yr hen amseroedd yn addoli yno yn debyg fel y mae y Khasiaid yma yn gwneyd; a oeddent yn credu mewn demoniaid, ac yn tori wyau, ac yn aberthu ieir a geifr iddynt; ynte sut yr oeddent yn addoli cyn i'r ysgol a'r llyfr ddyfod i'r wlad, a beth oedd y grefydd gyntaf a roes Duw i ddynolryw, a oedd aberthu yn hono? &c. Mae yma ychydig o Gristionogion, ac mae yr ysgol ddyddiol yn weddol, ond mae llygrediageth y pentref hwn yn ofnadwy mewn meddwi a *gamblo* a lladrata. Cawsom gyfarfod bore dranoeth yn yr ysgoldŷ, ond yr oedd yno

nifer lliosog yn eistedd ar fatiau ac yn *gamblo* â'u holl egni; ac nid yw yn ymddangos fod y brenin na phenaethiaid y pentref yn gwgu ar y drwg hwn. Yr oedd calon dyn yn cynhyrfu wrth edrych arnynt—meibion a merched gyda'u gilydd fel wedi anghofio pob peth ond yfed a hapchwareu. Ni a geisiwn ymhob ffordd ddyfod â gallu a bywyd yr efengyl i bwyso ar y drwg hwn yn drwm, mor drwm fel nas gall fyw fel yn awr; fe wnaeth hi bethau mwy na hyn, ac fe wna eto.

Tachwedd 10.—Dydd Gwener aeth Mrs. Jones a minnau i aros noswaith yn Mawklot, a chawsom y cyfeillion yno oll yn iach. Fe gafwyd cyfle yn min yr hwyr i ymweled â'r tai yn y pentref, ac i ddyweyd gair wrthynt am ffordd yr iachawdwriaeth. Ni a gawsom gyfarfod y noswaith a bore drannoeth, ac yr oedd nifer gweddol wedi dyfod ynghyd, a gwrandawent yn astud ar yr hyn a ddywedid wrthynt, Lled debyg yw yr achos crefyddol yma, ond yr wyf yn gobeithio y llwyddir yn raddol i ddwyn yr holl bentref at yr Arglwydd Iesu.

Tach. 17.—Ymwelsom â Sadew, a buom yno am ddwy noswaith. Yr oedd yma ysgol ddyddiol er's tro, ond nid oedd neb wedi cofleidio Cristionogaeth; ond beth amser yn ol, fe ddarfu i bump neu chwech droi yn Gristionogion, ac ymuno â'r eglwys yn Shillong. Parodd hyn ddychryn yn y pentref, a darfu i benaethiaid y pentref ymgynghreirio â'u gilydd nad anfonent mwy eu plant i'r ysgol, rhag i'r rheiny hefyd ddysgu a throi yn Gristionogion. Ni a gawsom ymddyddan maith âg amryw o honynt am yr ysgol a'r addysg, ac am Gristionogaeth. Ymdrechfa galed yw hi yn y pentref hwn yn bresennol, ond yr wyf yn credu y bydd i addysg a Christionogaeth orchfygu, ac y ceir oddiyma ffrwyth toreithiog i'r Iesu mewn amser i ddyfod. Nid oes ond rhyw ddau o'r penaethiaid yn galed iawn, a'r gweddill yn cymeryd eu harwain gan y ddau hyn; ond yr wyf yn credu y cymer cyfnewidiad le ynddynt hwy bob yn ychydig.

Ni a gawsom fath o seiat yma un noswaith; daeth rhai o gyfeillion Mawklot ac eraill o Myllim yno, fel rhwng pawb yr oedd yno tua 30, ac agos oll yn ddynion ieuainc, a chyfarfod da a gawsom, ac yr wyf yn credu y gwna ddaioni. Pwy fuasai yn tybio ychydig amser yn ol, y cawsid cyfarfod fel hwn, ac ieuenctyd o'r tri phentref yn dyfod at eu gilydd, nid i chwareu ac ymrafaelio, ond i weddïo ac i son am Iesu Grist, a sut i wella ei achos yn y pentrefi? Rhwng deg ac un ar ddeg y nos aeth cyfeillion Myllim adref, yn cael eu harwain gan ffagl oedd yn goleuo y llwybr iddynt.

Mae yn Sadew fachgen tuag 16 oed, o'r enw U Kor, a bachgen deallus ydyw, ac yn dysgu yn rhagorol; ond mae yn gloff—nis gall gerdded un cam, ond gall eistedd ar ol ei osod ar y fainc. Golygfa hynod oedd yn eglwys Shillong y noswaith y derbyniwyd ef i'r seiat; darfu i'r bechgyn eraill ei gario yr holl ffordd o Sadew—saith milldir, ac ar gefn un o honynt y daeth i mewn i'r capel, a'r fath edrych oedd arno, ac yr oedd y meddwl yn rhedeg yn ol at yr adeg pan ddygid y deillion a'r cloffion at yr Iesu am iachâd, ac yr wyf yn credu i U Kor ddyfod am yr un fendith. Pan ddaeth yn Gristion, gyrwyd ef allan o'r tŷ, ac oddiwrth ei deulu, a chymerwyd pob peth oddiarno; ac yn yr ysgoldy y mae wedi bod yn byw er hyny hyd yn awr, yn cael bwyd gan yr athraw, a thipyn o help gan gyfeillion eraill. Yr wyf yn meddwl ei gymeryd yma i'r ysgol am flwyddyn neu ddwy; a oes yna neb a roddai gymhorth i'r bachgen cloff iawn, i gael addysg am dymmor? O £5 i £6 yn y flwyddyn fyddai yn ddigon. Byddai Iesu Grist yn sicr o gofio y caredigrwydd a ddangosid at y bachgen cloff hwn, oblegid nid yw Ef yn anghyfiawn i anghofio gwaith a llafurus gariad y rhai sydd yn gweini i'r saint; ac yr wyf yn credu fod U Kor yn un o'r teulu.

---

## TAITH TRWY Y RHAN DDWYREINIOL O KHASIA.

(*Parhâd o Lythyr y Parch.* J. Roberts, *tu dal.* 40.)

(Yn Riwai). Wedi i bawb gael bwyd galwyd y pentrefwyr i'r ysgoldŷ, a bu dau neu dri o honom yn pregethu bob yn ail a chanu nes yr oedd rhwng naw a deg o'r gloch. Yr oedd yr ysgoldŷ yn llawn ar hyd yr amser, a phawb yn gwrando yn astud. Yr oedd U Mane Sirdar wedi aros yno gyda ni er mwyn i ni gael ei help i siarad â rhai o brif ddynion y pentref ar ol i'r lliaws fyned ymaith. Felly, ychydig wedi deg o'r gloch, daeth Mane a phedwar eraill gydag ef i mewn, a dechreuwyd ar unwaith. Ar un ochr yr oedd Mane, Mr. Jones, a minnau a'r athraw; ar yr ochr arall yr oedd dau offeiriad Khasi enwog o'r enw U Borjai ac U Kypa U Porba, a dau eraill. Wrth gwrs, U Mane oedd y siaradwr mawr ar ein hochr ni, a ninnau yn rhoi gair i mewn ambell dro. Aethai fy llythyr yn faith iawn, heblaw nad oes genyf ddigon o amser i'w hebgor, pe yr ysgrifenwn i chwi gymaint ag wyf yn gofio o'r ddadl. Ond nid oedd neb o honynt yn gallu sefyll am foment o flaen Mane. Cyn

iddo ef droi yn Gristion yr oedd yn un o'r gwŷr penaf gyda'r grefydd Gasi, ac felly y mae yn deall y dirgelion oll sydd yn perthyn iddi, a thrwy hyny y mae yn gallu rhoi taw dioed ar bawb. Mor werthfawr ydyw cael dyn fel hwn i ddal baner y groes i fyny mewn lle fel gwlad Kyndiar. Mor eglur y dangosai iddynt y twyll oedd ynglŷn â'r grefydd Gasi, ac hefyd mor ddrwg neu ddwl y rhaid fod pob offeiriad Khasi; ac eto rhyfedd fel y mae pobl yn glynu wrth eu hen grefydd. Cafwyd ymddyddan yn Riwai hyd nes yr oedd ymhell iawn ar y nos, ac yr wyf yn gwbl hyderus nad ä yr had yn ofer. Byddai yn gaffaeliad mawr pe deuai U Borjai a Kypa U Porba yn Gristionogion. Y maent, ar ol U Mane, y dynion mwyaf eu dylanwad yn y rhan hon o'r wlad. Y mae yn Riwai ddwy, sef mam a merch, yn Gristionogion. Boreu drannoeth, sef dydd Iau, ar ol arholi yr ysgol, a rhoddi meddyginiaeth i amryw, cychwynwyd am Ringer, a chyrhaeddwyd yn gynnar; a chafwyd yma eto gyfarfodydd gwir dda, a lliaws mawr yn gwrando. Y mae yn y pentref hwn lawer wedi dysgu darllen ac ysgrifenu yn lled weddol. Ddydd Gwener troisom yn ol am bentref Kyndiar, ac yma y buom dros ddydd Sadwrn a dydd Sul. Daeth nifer da ynghyd nos Wener, a phregethwyd gan ddau neu dri o honom. Cafwyd priodas ddydd Sadwrn. Dau oedd y rhai hyn oedd wedi syrthio, ac yn byw gyda'u gilydd fel gŵr a gwraig; ond pan glywsant am yr ymdriniaeth ar y mater yn y *Presbytery*, prysurasant i briodi. Treuliwyd dydd Sadwrn i roddi meddyginiaeth, ac i fyned o gwmpas y tai i siarad â phawb y caem hyd iddynt.

Ddydd Sabboth, dechreuwyd y dydd trwy gynnal cyfarfodydd gweddi, a hyny pan yr oedd yr haul yn codi. Yr oedd yr ysgoldŷ yma eto yn rhy lawn i ni gynnal Ysgol Sabbothol, felly bu raid pregethu trwy y dydd. Yn y cyfarfod canol bedyddiodd Mr. Jones nifer o bobl mewn oed a phlant, a derbyniwyd y rhai mewn oed at yr ordinhâd ar yr un pryd. Cyfarfod rhagorol oedd hwn; nid oes un ammheuaeth nad oedd Duw Ysbryd Glân yn ein mysg. Yr oedd yno lawer iawn o bobl wedi dyfod ynghyd, nid yn unig o Kyndiar, ond o'r pentrefi cylchynol hefyd. Yn y cyfarfod dilynol rhoddwyd U Mane Sirdar i bregethu. Pregeth wahanol iawn ydoedd hon i'r hon a draddododd allan yn Riwai. Pregeth oedd hono yn Riwai i bobl heb wybod dim am grefydd yr Iesu; amcanai yno yn unig at siglo eu ffydd yn eu hen grefydd; am hyny dynoethai ei drygioni a'i ffolineb yn y fath fodd nes codi gwrid i'w gwynebau. Ond yn Kyndiar cymerodd destun fel pregethwr rheolaidd,—eglurodd ef, athrawiaethedd, a chymhwysodd a diweddodd gydag Amen. Ei destun oedd o'r Hebreaid:—"Canys anmhosibl yw i waed teirw a geifr dynu ymaith bechod." Dywedai fod Duw ei hun wedi sefydlu aberthau, mai deddf Duw oedd tywallt gwaed teirw a geifr, ond nad oedd y ddeddf hon âg elfenau parhâd ynddi o angheuraidrwydd, am fod ei pharhâd yn dibynu ar ewyllys benarglwyddiaethol Duw; a phan welai Ef yn dda y byddai iddo roddi pen arni. Ond y mae darn o adnod yn y llythyr at y Rhufeiniaid yn dyweyd fod Crist yn *ddiwedd* y ddeddf. Ac yma rhoddodd ei esboniad ar y gair *diwedd* na chlywswn ef erioed o'r blaen." "*Diwedd* y ddeddf," meddai, "ydyw ei gwneyd nad oes *troi* i fod arni drachefn—dyma y terfyn, ac fel hyn y mae i aros. Pan fydd un brenin mewn ymrafael â brenin arall, llawer ymgais a wneir i ddyfod i deleran. Weithiau cynnygir fel hyn, wedi hyny gwelir nas gall hyny barhâu; yna cynnygir fel arall, ond daw hyny i'r pen; o'r diwedd deuir at y terfyn—terfyn y ddeddf, diwedd y ddeddf, y ddeddf sydd o hyny allan i barhâu; y mae rhyfel yn cael ei chyhoeddi, a chyhoeddiad y rhyfel ydyw diwedd y ddeddf hono—'does dim troi yn ol—rhyfel, rhyfel hyd yr eithaf ydyw y ddeddf yn awr, a dyma *ddiwedd* y ddeddf hono—fel yna y mae hi i sefyll bellach; ac y mae cyhoeddiad rhyfel yn gwneyd i ffordd â phob trefniad blaenorol. Felly yma, y mae dyfodiad Crist yn ddiwedd i'r ddeddf—yn gwneyd i ffordd â phob trefniad blaenorol; ac yn awr dyma ddiwedd y ddeddf—Crist yn aberth, a chredu yn Nghrist yn fywyd. 'Does yr un drefn arall i fod, oblegid dyma'r "diwedd"—diwedd y ddeddf. Nid peth yn cael ei dreio i edrych a wna y tro ydyw hwn, nid peth am amser ac wedi hyny i'w newid, ond dyma *ddiwedd* y ddeddf. Am hyny, teflwch ymaith bob aberthu, a chredwch yn Iesu Grist am eich bywyd." Chwi welwch fod Mane yn ddyn sydd yn meddwl, ac yn meddwl llawer iawn. Dair blynedd yn ol ni wyddai y dyn hwn ddim am air Duw, ac eto y mae wedi cyrhaedd dirnadaeth bur glir am drefn yr efengyl. Buasai yn dda genyf ddyweyd gair neu ddau am amryw eraill a gyfarfyddais ar y daith hon, yn enwedig am U Kypa U Tynron, ond rhaid eu gadael oll gyda dyweyd fy mod yn bur siwr i mi ddyfod i gyffyrddiad âg amryw nad oes genyf un ammheuaeth am eu duwioldeb. Israeliaid yn wir ydynt. O! mor ddiolchgar y teimlwn wrth eu gweled a siarad â hwy, a gwrando arnynt yn canmol Iesu Grist, ac yn diolch iddo am eu cofio—am iddo Ef, ac yntau yn gyfoethog, ddyfod er eu mwyn hwy yn dlawd. "Beth fedr hen ddyn fel fi wneyd," meddai U Kypa U Tynron, "i dalu iddo

am ei gariad? ond mi wnaf fy ngoreu i gael pawb o'm cydnabod i'w addoli. O Iesu anwyl! Af, mi af o dŷ i dŷ ac o bentref i bentref, i alw ar bawb i ddyfod ato am fywyd." Diolch i Dduw, meddaf finnau, am ei drefn gref a gogoneddus i dynu dynion oddiwrth eu pechodau; hen aberthwyr i gythreuliaid, meddwon, a godinebwyr, ydyw y rhai yr oeddym mewn dagrau yn cydgofio â hwy yn Kyndiar am angeu yr Arglwydd Iesu. "Diolch iddo byth am gofio llwch y llawr."

Cafwyd un cyfarfod drachefn gyda hwy yn y nos, a dyma y pummed cyfarfod y diwrnod hwnw. Wel dyna y cyfarfodydd oll. Boreu drannoeth cychwynasom tuag adref. Cyrhaeddasom Tangjinat, lle yr oeddem wedi gadael ein ceffylau, yn gynnar, ac wedi gorphwys ychydig, ac i Mr. Jones roddi ychydig *santonine* i amryw, cychwynasom am Lyngkyrdem, a chyrhaeddasom erbyn tua phedwar o'r gloch. Tra y buwyd yn aros am y nos dechreuasom ganu, a daeth tyrfa lled dda ynghyd, yna pregethwyd ychydig iddynt; ond yr oeddym oll yn teimlo ein bod mewn awyr bur wahanol yma i'r hyn yr oeddym wedi bod yn ei hanadlu y dyddiau blaenorol. Pentref caled, balch, tebyg i bentrefi Cherra, Mawsmai, a Lailyngkot ydyw hwn, a rhaid i gryn amser fyned heibio cyn y gellir gwneyd llawer o hono. Diammheu mai y cynllun goreu yn awr ydyw gweithio yn egnïol lle y mae y drws yn agor tua gwlad Kyndiar, ac fe ddaw y pentref balch hwn i lawr fel caerau Jericho ryw ddiwrnod. Yn foreu iawn drannoeth cychwynasom am Shillong, a chyrhaeddasom yn flin iawn ychydig cyn y nos, a chawsom ein teuluoedd mewn iechyd gweddol dda, ac wedi bod felly ar hyd yr amser.

Cyn terfynu hyn o hanes, dylwn ddyweyd gair am y rhai oedd gyda ni. Yr oedd U Kypa Ka Heu o Shillong yn un. Dyn da iawn ydyw hwn ar lawer cyfrif, dyn y gellir ymddiried ynddo. Efe ydyw y blaenor cyntaf a ddewiswyd ac a gadarnhäwyd gan *Bresbytery* ar y Bryniau yma, ac y mae wedi bod yn lled weithgar ar hyd yr amser. Ond y mae ynddo ddiffygion amlwg fel dyn i fyned i ganol Khasiaid anwybodus i geisio eu dwyn i adael eu hen grefydd, ac i chwilio am nodded mewn man arall. Y mae yn rhy debyg i'r cenadon yn ei ddull o bregethu. Byddwn ni yn canmawl yr efengyl oreu byth ag y gallwn, ac yn ei hegluro i'r bobl, ac yn sicr gallwn wneyd hyn yn llawer gwell na neb o'r dynion goreu yma; ond pe medrem ni a ymosodem ar y grefydd Gasi yn llawer mwy nag yr ydym yn gwneyd. Yr ydym ni yn cyfyngu ein hunain at egluro a chymhwyso Gair Duw am nad ydym yn gwybod ond cymhariaethol ychydig am ddirgelion ac arferion y grefydd Gasi. Wrth ddyweyd hyn, na feddylied neb ein bod heb wneyd pob ymdrech i wybod y dirgelion oll am dani; na, yr ydym yn gwneyd ein goreu yn y cyfeiriad hwn, ac i fesur yr ydym yn llwyddo, ond yr oeddwn i yn meddwl fy mod yn gwybod llawer mwy am yr iaith a'r grefydd Gasi wyth mlynedd yn ol nag wyf yn ei feddwl yn awr. Y mae yma gant a mil o bethau—mân bethau nad oes ond profiad blynyddoedd lawer iawn a'n gwna yn hyddysg ynddynt. Ond y mae dyn fel U Kypa Ka Hen yn eu gwybod yn dda, ac yn sicr fe ddylai wneyd mwy o ddefnydd o'i wybodaeth o'i hen grefydd er ei dymchwel i lawr. Wedi ei glywed yn pregethu unwaith neu ddwy dechreuasom ei gymhell i ddyweyd wrth y bobl paham y trodd ef ei hun yn Gristion—pa beth a welodd yn ddiffygiol yn ei hen grefydd fel ag i'w gymhell i'w gadael, a phethau tebyg i hyny. Mae'n wir ei fod yn lled glogyrnaidd gyda hyn, ond yr oedd yn gwella bob tro, ac yr oedd yn amlwg fod y bobl yn cymeryd llawer mwy o ddyddordeb yn yr hyn a ddywedai, fel erbyn ein bod yn Lyngkyrdem ar ein ffordd adref, yr oedd wedi cael blas ar y ffordd hon o siarad, ac fe siaradodd yn ardderchog, a hyny yn ngwyneb gwrthwynebiad lled gryf oddiwrth amryw o'r pentrefwyr; mewn gair, yr oedd ddigon yn drech na'r oll o honynt gyda'u gilydd.

Y llall oedd gyda ni oedd ewythr U Khnong. Hen frawd anwyl ydyw hwn. Y mae yn byw gydag U Khnong yn Nongsawlia, ond bydd yn rhoddi dau neu dri mis bob blwyddyn i fyned o gwmpas y wlad i bregethu yr efengyl. Yr oedd efe yn pregethu yn ei ffordd yn wir dda, ac yn gwella fel yr oedd yn myned yn ei flaen. Yr oedd y bobl yn ei hoffi yn fawr iawn. Bydd efe yn cymeryd ei destun yn fynych, ond weithiau pregetha heb destun. Ni bydd ei destun byth yn y man y dywed ef ei fod. Dywed fod ei destun yn Llyfr y Dadguddiad, ond rhyw ddarn o adnod o Efengyl Matthew, hwyrach, a ddywed efe. Nid yw yn medru darllen dim, chwi ddeallwch. Druan o hono, erbyn y nos Iau yr oeddym yn Ringer yr oedd arwyddion blinder arno, ac erbyn dydd Gwener yn Kyndiar nid oedd dim modd cael ganddo godi o'i wely, ac felly dydd Sadwrn—gorwedd drwy'r dydd. Erbyn y Sabboth, pa fodd bynag, yr oedd wedi dadebru, a phregethodd gystal ag erioed. Pan oeddym yn troi i'r gogledd am Shillong, aeth ef i'r dwyrain am Jaintia, ac yno y mae eto heb ddychwelyd. Yr hen frawd anwyl, hir oes a gaffo! Yr wyf fi yn hoff iawn o hono, ac nid oes ammheuaeth nad yw yn un o anwyliaid yr Iesu. Pe buasai efe byw pan yr oedd yr Iesu yma yn y cnawd,

synwn i ddim na buasai yn gryn ymdrech rhyngddo ef ac Ioan am gael pwyso ar ei fynwes fendigedig. Yr oedd gyda ni hefyd dair neu bedair o lodesi o Shillong. Y mae y rhai hyn yn angheonrheidiol er mwyn ein cynnorthwyo i ganu, ac yn wir ni a ganasom lawer iawn, canu nes blino. Nid wyf yn gwybod i mi ganu mwy erioed mewn can lleied o amser. Ac y mae canu dan amgylchiadau fel hyn yn waith trwm iawn mewn gwirionedd. Y mae llawer yn ceisio cydganu â chwi, ond neb yn canu yn hollol iawn; a'r rhan fwyaf o lawer yn dibynu ar lais yr arweinydd am gyfarwyddyd, ac os cymer yr arweinydd ei wynt am ychydig, neu os bydd iddo ostwng ei lais er mwyn gorphwysdra, deg i un nad aiff pob peth o'i le ar unwaith. Y mae yn wahanol yn yr hen orsafoedd yma—eir â'r dôn yn ei blaen, er nad yn rhyw gywir iawn, yn y rhai hyn.

Mor bell ag y gallwn i farnu mewn pythefnos o amser, y mae yn Kyndiar faes addawol iawn; ac yr wyf yn credu yr aiff pethau yn eu blaen yn hwylus yno, ac y gwelir cyn bo hir ffrwyth lawer i'r Iesu.

[Buwyd dan orfodaeth i adael allan lythyr oddiwrth amryw o'r cenadon o ddiffyg lle.]

---

## CYDNABYDDIAETH O RODDION.

MEWN llythyr dyddiedig Tachwedd 30ain, hysbysa y Parch. J. Roberts, Cherra, ei fod wedi derbyn amryw sypynau o'r *Children's Friend*. Anfonwyd deuddeg copi o'r cyhoeddiad bychan hwn bob mis o'r flwyddyn ddiweddaf gan chwaer ieuanc o Lundain, a gofalwyd am eu hanfon i'r cenadon fel y ceid cyfle. Cydnebydd Mr. Roberts hefyd dderbyniad dwy gistaid o lechi ysgrifenu, ac un sypyn o ddefnyddiau dilladau, &c., oddiwrth Mri. Morgan & Griffiths, Port Dinorwic. Rhanwyd y llechi ysgrifenu a'r pethau eraill rhwng yr amrywiol orsafoedd, ac yr oeddynt yn dra derbyniol. Drwg gan Mr. Roberts iddo rywfodd adael yn anghof gydnabod y rhoddion gwerthfawr hyn yn gynt. Derbyniwyd oddiwrth y Parch. D. Morgan, Penllwyn, sypyn oedd wedi ei fwriadu i'w anfon gyda'r Parch. T. Jerman Jones, ond gan na ddaeth i law nes yr oedd Mr. Jones wedi cychwyn, bu ychydig oediad i'w anfon allan. Ond y mae erbyn hyn, ni a hyderwn, wedi cyrhaedd pen y daith.

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

DYMUNIR ar i'r swyddogion eglwysig ymhob capel lle nad yw y Casgliad Cenadol wedi ei wneuthur am y flwyddyn yn diweddu Mawrth 31ain, 1883, ofalu am iddo gael ei wneuthur yn ddioed, ac anfon yr arian i'r Trysorydd Sirol, fel y gallo efe eu trosglwyddo yn brydlawn i'r Trysorydd Cyffredinol.

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| O Drefaldwyn Uchaf, trwy law Mr. R. Jones, Drefnewydd | 50 | 0 | 0 |
| O Tabernacl, Aberteifi, trwy law Mr. T. R. Nicholas | 10 | 0 | 0 |
| O Ddyffryn Clwyd, trwy law Mr. P. Roberts | 60 | 0 | 0 |
| O Manchester, trwy law Dr. John Roberts | 55 | 0 | 0 |
| O Ogledd Aberteifi, trwy law Mr. Philip Williams, U.H. | 64 | 14 | 8 |
| O Seacombe | 12 | 2 | 1 |
| O Ran Seisonig Sir Benfro, trwy law y Parch. W. Powell | 35 | 0 | 0 |
| O Landudno, cynnyrch Blychau Cenadol, trwy law Miss Roberts, London House | 2 | 15 | 6 |
| Oddiwrth un o Borthmadog sydd yn wrthwynebol i rannu y Casgliad Cenadol | 5 | 0 | 0 |
| Casgliad y Plant, Bethel, Dolgellau, trwy law Mr. O. D. Roberts | 1 | 12 | 4 |
| O Llantwit Faerdre | 0 | 5 | 4 |
| O Ddwyrain Meirionydd, trwy law Mr. R. Jones, U.H., Bala | 164 | 15 | 0 |
| O Gellifor | 3 | 4 | 10 |
| Oddiwrth "B.," Arfon | 10 | 0 | 0 |
| O Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Wrexham | 40 | 3 | 10 |
| O Hope Chapel, Merthyr | 7 | 5 | 0 |
| O Orllewin Morganwg, trwy law Mr. W. Griffiths, Taibach | 64 | 7 | 9 |
| Oddiwrth Thomas Williams | 0 | 2 | 6 |
| Oddiwrth "D.," Dinbych | 1 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Gangen Gymdeithas Genadol y Chwiorydd, Wrexham, trwy law Mrs. E. Frimston | 31 | 11 | 7 |
| (Mae £18 o'r swm hwn oddiwrth Mrs. Elias, Kelso Villa, tuag at Ysgol yn Khasia neu Jaintia.) | | | |
| O Caergeiliog, Môn, casgliad ar ol darlith gan Mr. Thomas Lewis, Bangor ... 1 12 0 | | | |
| Mrs. Hannah Owen, Tŷ'nllan 0 10 0— | 2 | 2 | 0 |
| Casglwyd gan Miss A. M. Markes, Bangor | 0 | 7 | 6 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. W. Charles, Aberdâr | 17 | 4 | 10 |
| O Cemmaes, Sir Drefaldwyn, Casgliad y Plant | 1 | 11 | 0 |

Dylesid crybwyll yn rhestr Derbyniadau yn y rhifyn diweddaf mai Cymunrodd Mr. Robert Edwards, Stanley Street, Caergybi, oedd £10 a dderbyniasid trwy law y Parch. W. R. Jones.

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, ESQ., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 629.] MAWRTH, 1883. [LLYFR LIII.

## EDIFEIRWCH.

GAN Y PARCH. LLEWELYN EDWARDS, M.A., ARDWYN, ABERYSTWYTH.

LUC xv. 10: "Felly, meddaf i chwi, y mae llawenydd yn ngwydd angylion Duw am un pechadur a edifarhäo."

NID ydym yn bwriadu yn yr ysgrif hon aros dim gydag esboniadaeth yr adnod hon, na myned i mewn chwaith i gysylltiad y geiriau â'r dammegion prydferth a gyflwynir i ni yn y bennod, nac i gysylltiad y gwabanol ddammegion hyn â'u gilydd. Ein hunig amcan fydd egluro ychydig ar natur ac ansawdd un o'r teimladau mwyaf pwysig ac ymarferol ag y mae yn bosibl iddo gael lle yn y galon ddynol—gwir edifeirwch.

Beth bynag ydyw natur y teimlad hwn, y mae yn un ag y mae yn rhaid ei brofi, i raddau mwy neu lai, tra y pery bywyd. Tu draw i'r terfyn hwn nis gall fyned. Mae cyflwr o berffeithrwydd yn ei wneyd yn ddianghenrhaid, tra y mae y cyflwr gwrthwyneb yn ei gau allan. Ond yn y sefyllfa bresennol y mae anghen am dano, a chymaint a hyny o le iddo.

Beth yw natur edifeirwch? Tuag at gael atebiad i'r gofyniad yma, byddai yn fantais nid bychan pe gallem ddyweyd yn sicr ac yn eglur beth *nad ydyw*—pe gallem ei wahaniaethu yn eglur oddiwrth rai teimladau eraill, cyfagos ato a thebyg iddo.

Ac i ddechre, dylem wahaniaethu rhwng edifeirwch â'r teimlad a elwir yn gyffredin yn *argyhoeddiad*. Mae y ddau beth yma ar lawer ystyriaeth yn debyg iawn i'w gilydd. Mae y ddau yn oruwchnaturiol ac ysbrydol. Yr Ysbryd Glân yw yr hwn sydd yn cynnyrchu edifeirwch, ac nis gall neb llai gynnyrchu argyhoeddiad yn nghalon pechadur. Ac eto y mae gwahaniaeth pwysig rhyngddynt. Tra y mae dyn o dan argyhoeddiad, y mae yn aros mewn marwolaeth—y tu allan i derfynau teyrnas Dduw y mae. Ond os oes ganddo y gronyn lleiaf o wir edifeirwch, y mae wedi myned drwodd o farwolaeth i fywyd. Ac felly y mae yn bosibl i'r hwn sydd dan argyhoeddiad syrthio ymaith, er ei fod wedi teimlo "nerthoedd y byd a ddaw;" eithr y mae y pechadur gwaethaf, os ydyw yn brofiadol o wir edifeirwch, wedi ei ddwyn i ddiogelwch perffaith. Rhagbarotöad i wir grefydd yw argyhoeddiad, ond y mae edifeirwch yn rhan hanfodol o honi. Nis gall y ddeddf fod yn fwy i ddyn nag athraw i'w ddwyn *at* Grist. Y mae Crist ei hun yn nghalon yr edifeiriol. Y lle agosaf at deyrnas Dduw tu allan i'w therfynau ydyw argyhoeddiad; y llecyn cyntaf tu mewn iddi yw edifeirwch.

Eto: dylem wahaniaethu edifeirwch oddiwrth yr hyn a elwir yn Saesoneg yn *remorse*—edifeirwch gau, neu gnofeydd cydwybod dyn drwg. Mewn rhai pethau y mae y ddau deimlad yna yn lled debyg, yn enwedig yn eu heffeithiau uniongyrchol ac arwynebol. Nid peth hawdd fyddai penderfynu am lawer dyn pa un ai *remorse* neu edifeirwch y mae yn ei brofi. Ond y mae y gwahaniaeth rhwng y ddau deimlad yma yn dyfod yn fuan i'r golwg. Mae edifeirwch gau yn cyfeirio at bechod yn ei ganlyniadau truenus, ond edifeirwch gwirioneddol at

bechod ynddo ei hun fel drwg yn erbyn Duw. Edifeirwch gau a gyfeiria at lythyren y gyfraith, ond edifeirwch gwirioneddol at y ddeddf fel egwyddor. Hefyd, nis gellir dyweyd am wir edifeirwch fod y tebygolrwydd y bydd iddo gael ei gynnyrchu yn ol nifer a mawredd y pechodau sydd wedi eu cyflawni. Nid o bechod y mae yn dyfod, ac nid pechod yw yr achos o hono. Ond *gras* ydyw yn cael ei roddi gan Dduw oddiuchod. Eithr gyda golwg ar *remorse*, y mae yn wir mai effaith pechod ydyw, ac y mae yn anmhosibl i neb bechu heb ddyoddef canlyniadau ei bechod yn y ffurf o drueni yn ei gydwybod ei hun.

Ymhellach, er mwyn cael syniad gwell am natur edifeirwch, dylem ei wahaniaethu oddiwrth y teimlad o *wrthwynebrwydd i ddrwg.* Mae yn rhaid rhoddi rhywbeth o'r syniad yna yn ein darnodiad o'r gras hwn. *Y mae* yn cynnwys troi oddiwrth ddrwg; ond nis gellir dyweyd mewn cynifer o eiriau mai dyna ydyw edifeirwch. Obiegid, yn un peth, y mae y naill ras yn cynnyddu i'r graddau ag y mae y llall yn myned yn llai. Po agosaf at berffeithrwydd a fyddom, lleiaf oll o anghen a fydd am edifeirwch, ond cryfaf oll fydd ein teimlad o wrthwynebrwydd i bob drwg. Ac nid hyny yn unig, ond y mae yn eglur fod y naill deimlad yn fwy cyffredinol na'r llall. Mae casineb at bechod yn cyfeirio at bob pechod, pechod yn mhawb ac ymhob lle; ond nid oes a wnelo y teimlad o edifeirwch â phechod neb ond fy mhechod i fy hunan; ac felly er fod dechreuad pob gwrthwynebrwydd i bechod i'w gael mewn edifeirwch, eto mae lle i wahaniaethu rhwng y ddau deimlad.

Ond y mae yn bryd i ni adael ymchwiliad nacäol fel hwn, a cheisio ateb y cwestiwn, Pa fath beth ydyw edifeirwch? beth ydyw ei natur, a pha elfenau sydd i'w gweled ynddo? Ond wrth wynebu ar y cwestiwn yna, yr ydym yn cael ein cyfarfod ar unwaith âg anhawsdra. Pa fodd y mae yn bosibl darnodi teimlad fel hwn? Yr ydym yn cael fod y teimladau mwyaf pwysig sydd yn perthyn i Gristionogaeth y fath fel nas gellir rhoddi darnodiad o honynt. Y maent o'r fath natur fel nas gall neb eu deall ond y personau hyny sydd wedi eu profi. Nis gellir darnodi na desgrifio cariad, neu ffydd, fel ag i'r rhai nad oes ganddynt brofiad o'r cyfryw deimladau allu gwybod dim am eu natur. Felly hefyd y mae gydag edifeirwch; ac eto fe allai fod yn bosibl ei osod allan yn y fath fodd fel ag y byddo y rhai sydd yn brofiadol o hono yn ei adnabod. Fe ddywedir fod gwyddonwyr yn fynych yn llwyddo i ddeall cryn lawer am natur rhyw ddefnydd trwy ei ddal mewn goleuni dysglaer, yn enwedig yn ngoleuni amryliw a phrydferth y *polariscope.* Felly gallwn ninnau ddysgwyl gweled tipyn o natur y gras hwn, os daliwn ef am ychydig amser o dan belydrau goleuni yr adnod yr ydym wedi ei dewis fel testun. Beth bynag ydyw edifeirwch o ran ei natur, dywedir am dano ei fod yn creu llawenydd yn ngwydd angylion Duw.

Paham y mae yn gwneyd hyny?

1. *Y mae edifeirwch yn creu llawenydd yn y nefoedd oblegid addasrwydd a phriodoldeb y teimlad hwn i'r cyflwr gwirioneddol y mae dyn ynddo.*

Y mae'r syniad am brydferthwch moesol yn dyfod i'r golwg yma. Fe ofynir weithiau, Beth ydyw prydferthwch? Beth sydd yn peri fod un gwrthddrych yn fwy prydferth nag un arall? Peth hawdd iawn ydyw dyweyd pa wrthddrych sydd yn brydferth, ond peth anhawdd ydyw dyweyd *paham* y mae yn brydferth. Hwyrach mai yr atebiad goreu y gellir ei roddi yw, mai rhyw egwyddor o gyfaddasder neu briodoldeb yn rhedeg trwy y gwrthddrych sydd yn cyfansoddi ei brydferthwch. Felly y mae yn naturiol. Mae rhanau y gwrthddrych yn gyfaddas i'w gilydd ac i'r cyfan. Cymerwch y rhanau oddiwrth eu gilydd, a gosodwch hwynt wrth eu gilydd eilwaith mewn trefn wahanol, y mae y prydferthwch i gyd wedi diflanu. Felly hefyd y mae mewn ystyr foesol. Ac y mae yn wir bwysig i ni gofio fod y fath beth yn bod â phrydferthwch moesol. Pa fath ddyn sydd yn ei feddu? Un ag y mae ei deimladau bob amser, ac ymhob lle, yn berffaith addas a chymhwys i'r amgylchiadau gwirioneddol y mae yn cael ei hun ynddynt. Y mae yn gallu wylo gyda'r rhai sydd yn wylo, a llawenhâu gyda'r rhai sydd yn llawenhâu. Gall ymladd nes ennill y fuddugoliaeth pan y mae hyny yn angenrheidiol; ond gall

hefyd fod yn dyner wrth blentyn bach gwanaidd pan y bydd amgylchiadau yn galw am hyny.

Mae hyn yn wir eto yn yr ystyr uchaf—yn y byd ysbrydol. Hagr a hyll ydyw yr olygfa y mae pechodau oes dyn yn ei dangos. Gwêdd bruddaidd a thorcalonus sydd ar y "mab afradlawn" o'r mynyd y mae yn gadael tŷ ei dad. Ond pan y mae yn dychwelyd yn edifeiriol, y mae yna wir brydferthwch yn dyfod i mewn i'r darlun. Mae y teimlad hwn mor addas a phriodol i'r sefyllfa fel ag y mae yn creu prydferthwch ag y mae angylion Duw, ïe Duw ei hunan, yn hoffi edrych arno.

ii. *Mae edifeirwch yn creu llawenydd yn y nefoedd oblegid ei fod yn deimlad sydd yn addaw holl ddyfodol dyn i feddwl Duw.*

Mae dyfodol gogoneddus y cristion yn gynnwysedig mewn edifeirwch, fel y mae y dderwen odidog yn y fesen. Y mae ar lawer ystyriaeth yn deimlad distadl; a gallem yn hawdd feddwl nad oes dim ond gwendid yn cael ei arwyddocâu ganddo; er hyny y mae yn allu mawr, yn allu er iachawdwriaeth, yn ddechreuad ar fywyd newydd a thragywyddol. Mae yn ailenedigaeth i'r dyn sydd yn ei deimlo. Nis gall byth fod yr un dyn ag o'r blaen ar ol ei brofi. Mae ffrwythau sydd yn addas i edifeirwch, ac y mae y ffrwythau hyn yn sicr o'i ddilyn bob amser. Er nad yw eto wedi ei ddadblygu, mae ynddo nerth digonol i ddwyn trefn a rhinwedd allan o annhrefn ac anobaith y bywyd blaenorol. Mewn edifeirwch y mae sancteiddrwydd yn gosod ei wreiddiau dyfnaf a sicraf. Mae sŵn addewid a gobaith ynddo. Bydd yr amaethwr yn llawenhâu nid yn unig pan y byddo wedi dwyn ffrwyth y ddaear i ddiddosrwydd, ond hefyd ar ol gorphen hâu ei hâd. Mae yr hâu yn rhoddi addewid am gynauaf. Felly y mae Duw yn llawenychu a gorfoleddu nid yn unig pan y mae yn dwyn ei blant adref yn iach o'r cystudd mawr a'r anialwch, ond hefyd pan y mae y gwaith da yn cael ei ddechre mewn gwir edifeirwch.

iii. *Y mae edifeirwch yn creu llawenydd yn y nefoedd am ei fod yn cynnwys o anghenrheidrwydd ffydd yn Mherson yr Arglwydd Iesu.*

Y mae yn ofynol i ni gadw mewn côf mai nid un o'r rhinweddau hyny ydyw edifeirwch ag y gellid dysgwyl eu gweled yn rhestr yr athronydd. Nid ydyw chwaith yn beth ag y gall un gosbedigaeth, neu fygythiad o gosbedigaeth, ei gynnyrchu. Nis gall ofn uffern byth ei greu. Nid golwg ar bechod a'i drueni yn unig yw yr achos o hono. Nid yw yn bosibl heb olwg hefyd ar drugaredd a gras Duw. Teimlad ydyw sydd yn ymgylymu am Berson byw yr Arglwydd Iesu. A phe na buasai trefn iachawdwriaeth wedi ei dadguddio i ddyn, ni buasai edifeirwch yn bosibl iddo. Mae felly yn cynnwys ffydd—ffydd yn yr hwn a osododd Duw yn Iawn. Credu ynddo yw yr anrhydedd uchaf y gall dyn ei roddi i Fab Duw; ac nid oes dim yn rhoddi mwy o lawenydd i Dduw na gweled dynion yn gwneyd derbyniad o hono Ef. Dyma Grist wedi myned i lafur ei enaid; ac y mae iddo gael ei ddiwallu trwy weled o'r llafur hwnw yn achos o orfoledd yn ngwydd angylion Duw.

iv. *Y mae edifeirwch yn creu llawenydd yn y nefoedd am fod ynddo rinwedd a gallu i symud ymaith y rhwystrau sydd yn sefyll ar ffordd cymundeb a chymdeithas â Duw.*

Dyma un o effeithiau mwyaf pwysig edifeirwch. Pa faint bynag o gymylau duon fyddo yn sefyll fel llên i guddio gwyneb Duw oddiwrth ddyn, y mynyd y mae edifeirwch yn dyfod i mewn, mae'r cyfan yn cael eu symud, a'r awyr yn myned yn glir. Hebddo y mae anhawsderau i gymdeithas â Duw yn sicr o fod. Ar un tu, mae yn eglur nas gallai cyfiawnder Duw oddef i bechadur gael un drugaredd ganddo, maddeuant, na gras, na dim ond ar delerau edifeirwch. Ac o'r tu arall, y mae mor eglur a hyny nas gallai dyn dderbyn dim daioni oddiwrth Dduw heb edifeirwch. Y mae yn galluogi Duw i roddi, ac ar yr un pryd yn galluogi pechadur i dderbyn. Ac nid hyny yn unig, ond hefyd y mae yn peri fod trugareddau Duw yn troi yn fendithion i ddyn. Y mae ei bresennoldeb yn nghalon y credadyn yn anghenrheidiol, fel y byddo i weithrediadau Duw tuag ato gael dylanwad moesol priodol arno. Dywedir fod gan y perthynasau ymha rai y mae dynion yn sefyll ddylanwad moesol nid bychan arnynt; hyny ydyw, ar eu cymeriadau, ac ar ansawdd eu meddyliau. Y mae

y berthynas ymha un y mae dyn yn cael ei osod tuag at ei gyd-ddynion trwy ennill cyflog gonest am ei lafur, yn un ag sydd yn dyrchafu ac yn cryfhâu ei gymeriad. Felly i'r gwrthwyneb: y mae y berthynas â'i gyd-ddynion y mae dyn yn myned iddi trwy ddysgu byw heb lafurio, ond byw ar lafur eraill, yn ei ddarostwng ac yn ei iselhâu. A dyma yw hanes y natur ddynol bob amser. Ond os yw hyn yn wir gyda golwg ar berthynas dyn â'i gyd-ddyn, onid yw yr un peth i'w weled yn ei berthynas â Duw? Os felly, pa fodd y gall pechadur dderbyn dim gan Dduw, ac yntau heb ei haeddu o gwbl, heb gael ei lygru gan y derbyniad hwnw? Yr unig atebiad i'r cwestiwn yna yw y gair edifeirwch. Mewn edifeirwch, fe all pechadur aflan ac euog dderbyn trugaredd gan Dduw, a chael ei fendithio yn y derbyniad o hono. Yn y modd yma y mae edifeirwch yn meddiannu rhyw allu i symud y rhwystrau sydd yn sefyll ar ffordd cymundeb rhwng dyn â Duw—y mae y dramwyfa rhyngddynt yn cael ei hagor. Un rheswm dros orfoledd y Tad wrth weled ei fab afradlawn yn dychwelyd adref oedd, fod y ffordd yn cael ei hagor i'w gariad, oedd wedi cael ei gau i mewn a'i daflu yn ol arno ei hunan gan ymddygiad ei fab—redeg heb un rhwystr at ei wrthddrych i'w fendithio. Felly y mae yn arddangosiad gogoneddus o fawredd cariad Duw tuag atom ei fod yn llawenychu pan y mae ein hedifeirwch ni yn ei alluogi i'n bendithio heb un rhwystr. Ac y mae yn anhawdd meddwl am un annogaeth gryfach i edifeirwch na'r ystyriaeth fod "llawenydd yn ngwydd angylion Duw am un pechadur a edifarhao."

---

## Y DRYSORFA GYNNORTHWYOL.

*Gan y Parch.* Evan Roberts, *Caernarfon.*

### SYLWADAU CHWANEGOL.

Mae y drysorfa hon mor resymol a christionogol yn ei hysbryd a'i hamcanion, fel y mae hi yn cymeradwyo ei hun "i bob cydwybod dynion yn ngolwg Duw." Mae pob dyn o farn dda a theimlad llednais yn sicr o'i chymeradwyo, a gweithio yn egnïol o'i phlaid. Dichon mai y perygl bellach fydd dysgwyl gormod wrthi—ei gorweithio—ac felly wneuthur niwed i'r achos.

Yr ydym yn credu y dylai y drysorfa hon roddi holl eglwysi y Cyfundeb o dan ofal gweinidogaethol, a hyny cyn hir. Bydd hyn yn fantais fawr i'r eglwysi, ac yn gyfleusdra i'r gweinidogion gyfyngu eu llafur yn fwy i'r un cylch. Ond y perygl yw, dysgwyl cael gweinidog i fyw ymhob lle bychan trwy'r ardaloedd, heb gynnaliaeth briodol i weinidog yr efengyl. Dywed y duwiol Matthew Henry fod "cynnaliaeth salw yn cynnyrchu gweinidogaeth salw," a byddai "*shabby ministry,*" ys dywed yntau, y trychineb mwyaf i'r Cyfundeb. Mae yn hen ddywediad, pe rhenid holl gyfoeth y wlad yn gyfartal rhwng pob dyn y byddai pawb yn dlawd. Mae yr un mor wir, pe rhenid holl dderbyniadau y Cyfundeb at y weinidogaeth yn gyfartal i'r holl weinidogion, y byddai y gynnaliaeth yn *shabby* ymhob man. Credu yr ydym y byddai yn llawer gwell i'r gweinidog mewn aml gongl o'r wlad fod mewn rhyw gysylltiad â galwedigaeth fydol na cheisio byw yn dlawd ar "gynnaliaeth salw." Mae llawer o eglwysi y Cyfundeb ymha rai y ceir digonedd o waith i'r gweinidog ddydd a nos; ond y mae eraill nad ydynt felly; a than yr amgylchiadau hyny, gallai dyn roi ychydig o'i amser at rywbeth arall. Yr ydym yn credu, fel rheol, mai ordeiniad yr Arglwydd ydyw "fod i'r rhai sydd yn pregethu yr efengyl fyw wrth yr efengyl." Ar yr un pryd, byddai yr apostolion eu hunain ar adegau, a than amgylchiadau, yn arfer "gweithio â'u dwylaw." Ac nid oedd hyny yn darostwng dim arnynt, ond yn eu dyrchafu yn ngolwg y bobl. Felly y tybiwn fod rhanau o'r wlad, a rhai eglwysi ymhob rhan o'r wlad, ag y byddai yn fantais i'w gweinidogion beidio ymryddhâu yn hollol oddiwrth eu cysylltiadau bydol. Rhoddai hyn iddynt safle barchusach a mwy dylanwadol yn nheimlad eu cymydogion, a mantais i fod yn fwy haelionus a defnyddiol, na phe byddent yn byw yn dlodaidd a hanner segur ar "gynnaliaeth salw." Nis gall un gweinidog "basio yn gyfoethog ar ddeugain punt y flwyddyn" yn awr fel yn amser Goldsmith. Wrth gwrs, nid ydym yn medd-

wl fod i neb *ymrwystro* "gyda negeseuau y bywyd hwn," ond defnyddio rhyw gangen o alwedigaeth fydol i fod yn gymhorth i'r dyn fod yn fwy effeithiol yn y weinidogaeth. Nid ydym, ar y llaw arall, yn golygu fod hyn i *arbed* yr eglwysi rhag gwneyd eu goreu at gynnaliaeth y weinidogaeth; byddai hyny yn niwed mawr, ac yn attalfa iddynt gynnyddu yn y gras o haelioni. Ond y meddwl ydyw, arfer pob moddion teg i wneyd y weinidogaeth yn fwy effeithiol, ac ar yr un pryd ei chadw rhag dyfod yn faich rhy drwm ar yr eglwysi. Bu adeg ar y Cyfundeb pan yr oedd yn gadael i'w weinidogion "ymrwystro" yn ormodol gyda galwedigaethau bydol; ond ein perygl ni yn yr oes hon ydyw ceisio rhyddhâu yn hollol, a thrwy hyny, o angenrheidrwydd, glânio mewn *shabby ministry* mewn llawer rhan o'r wlad. Ond gyda y "Drysorfa Gynnorthwyol" ar y naill law, ac ychydig o gymhorth galwedigaeth fydol ar y llaw arall, gellid rhoddi holl eglwysi y Cyfundeb, yn fawr ac yn fychain, trwy bob rhan o'r wlad, o dan ofal gweinidogaethol, yr hyn yn ddiau a fyddai nid yn unig yn ddymunol, ond yn adeiladol iawn iddynt.

Peth arall hefyd y rhaid ei gael i gynnorthwyo lleoedd gweiniaid, heblaw y "Drysorfa Gynnorthwyol," ac mewn ffordd i'w chynnorthwyo hithau, ydyw urdd neu ddosbarth o bregethwyr lleol, neu lëygol—dynion yn dilyn eu galwedigaethau bydol a fedrent fforddio rhoddi eu gwasanaeth, o fewn cylch o leiaf, heb bwyso nemawr ar yr eglwysi. "Odfa'r nos" sydd yn awr yn brin mewn llawer o leoedd bychain, tra y ceir yr "odfa ddau" iddynt yn gyffredin o'r "lleoedd mawr" heb lawer o drafferth; ond y maent yn dyoddef o eisieu yr odfa nos Sabboth. Yn awr, y mae yn yr eglwysi lawer o ddynion da a dawnus, pe buasai llwybr priodol i'w codi allan, a allai lenwi y bylchau hyn gyda defnyddioldeb mawr, a hyny heb ddim traul ar yr eglwysi. Dyma ffordd arddeachog i gynnorthwyo lleoedd gweiniaid. Byddai yn fendith i'r dynion sydd yn cuddio eu talentau yn y ddaear, ac yn fendith fawr i'r eglwysi gael eu gwasanaeth. Mae ar y Cyfundeb yn awr anghen am ugeiniau, os nad cannoedd, o ysgoldai neu *Mission Rooms* o'r newydd yn y trefi a'r ardaloedd poblog, lle y mae cannoedd o bobl dlodion yn byw mewn esgeulusdra o foddion gras. Ond pa fodd y gellir cael gweinidogaeth iddynt yw y pwnc. Nis gellir fforddio talu i ddynion sydd wedi ymgysegru i'r weinidogaeth heb ddim arall at eu cynnal. Ac heblaw hyny, nid yw gweinidogaeth dynion sydd wedi cael dysg ac amaethiad meddyliol, i'w cymhwyso i bregethu i'r cynnulleidfäoedd mwyaf coethedig, mor gymhwys i leoedd o'r fath â gweinidogaeth fwy cyffredin. Ond pe ceid dosbarth o bregethwyr llëygol o'r fath a nodwyd, gellid codi cannoedd o leoedd bychain o'r newydd, a'u cyflenwi â gweinidogaeth, a hono fe ddichon y fwyaf cymhwys nid yn unig at eu hamgylchiadau, ond hefyd at eu teimladau a'u dealltwriaethau. Peidier a dysgwyl i'r "Drysorfa Gynnorthwyol" wneyd pob peth; mae ffyrdd eraill i'w chynnorthwyo hithau. Nis gall hon, er cystal ydyw, "iachâu pob clefyd a phob afiechyd" ymhlith yr eglwysi.

Yr ydym yn credu fod mantais arall, heb fod yn un fechan hefyd, mewn cael dosbarth o bregethwyr llëygol, sef i fod yn faes i bob un "ddechre pregethu." Mae llawer o siarad wedi bod, ac yn bod, gyda golwg ar "godi pregethwyr;" ac y mae yr anhawsder mwyaf yn bod ynghylch pa fodd i gael prawf boddhaol ar yr ymgeiswyr cyn iddynt adael eu gorchwylion, a myned yn rhy bell i droi yn ol yn anrhydeddus. Fel y mae pethau yn awr, ceir dynion ieuainc yn rhuthro ymlaen fel ymgeiswyr am y weinidogaeth cyn i neb gael prawf arnynt, nac iddynt hwythau gael dim prawf arnynt eu hunain. Yn wir, nid oes ond ychydig iawn o gyfleusdra iddynt brofi na dadblygu eu hunain heb osod eu hunain fel ymgeiswyr; ac erbyn myned trwy eu blwyddyn brawf, bydd yn rhy hwyr iddynt droi yn ol yn anrhydeddus, pe gwelent nad ydynt mor lwyddiannus ag yr oeddynt yn dysgwyl. Ac hefyd, nid oes neb arall am gymeryd y cyfrifoldeb, ac weithiau y creulondeb, o'u troi yn ol, os na bydd diffyg yn eu cymeriad, gan eu bod bellach wedi gadael eu galwedigaethau, ac wedi ymroi i'r ysgolion. Ond pe byddai genym ddosbarth o bregethwyr o'r fath ag a nodwyd, gallai pob un ddechre yn y dosbarth hwn, trwy "arfer ei ddawn," a phrofi ei hun, a'r hyn sydd fwy pwysig fyth, dadblygu ei hun

yn y cylch hwn heb adael ei alwedigaeth, na *riskio* ei anrhydedd. Os na fyddai yn dyfod ymlaen gystal â'i ddysgwyliad, gallai aros yn anrhydeddus, ac i raddau yn ddefnyddiol, yn y cylch hwn. Ond o'r tu arall, os gwelid fod gan y dyn ieuanc y cymhwysderau gofynol i'r weinidogaeth, gellid yn ddiberygl bellach ei annog i ymroi iddi â'i holl egni. Deuai ambell un i'r golwg yn amlwg mewn ychydig fisoedd, fel na byddai raid cael blwyddyn brawf; a dichon y cymerai i arall fwy na blwyddyn i ddyfod i'r golwg; ond pa bryd bynag yr argyhoeddid yr eglwysi ei fod yn meddu cymhwysder i holl waith y weinidogaeth, dylai ei ffordd fod yn rhydd i fyned ymlaen.

Anfantais fawr, yn ddiau, mewn llawer ystyr, nad oes gan y Cyfundeb ond rhyw un urdd o bregethwyr. Mae hyn wedi arwain llawer o ddynion ieuainc digon cywir eu hamcan, er nad helaeth eu doniau, i brofedigaeth am eu hoes. Ceir hwy yn fyr o ddyfod i fyny â gofynion y dosbarth y maent wedi myned iddo, pryd pe buasai dosbarth arall heb fod mor uchel ei honiadau, y buasent yn sefyll yn anrhydeddus a defnyddiol ynddo. Ac y mae yn ein plith lïaws eraill wedi eu cadw yn ol gan wylder ac ofn, nad oedd ganddynt gymhwysderau i'r weinidogaeth, pryd, pe buasai rhyw *step* îs i gychwyn, y buasent cyn hyn yn oleuadau yn y byd.

Maddeued y darllenydd y gwyriad hwn oddiwrth y pwnc. Ein hamcan oedd dangos pa mor fuddiol, ac yn wir anghenrheidiol, ydyw y dosbarth hwn o bregethwyr i gynnorthwyo lleoedd gweiniaid, ac i gynnorthwyo y "Drysorfa Gynnorthwyol," yr hon yr ydym yn ei phleidio â'n holl galon, ond yn ofni iddi gael cam trwy ddysgwyl iddi wneyd pob peth ar draul esgeuluso ffyrdd eraill lawn mor effeithiol o weithio. Dylai y Cyfundeb ofalu am ddwyn ei holl dalentau i'r bwrdd cyfnewid, ac nid defnyddio un ar draul esgeuluso y llall, neu yn hytrach trwy osod gwas y ddwy dalent yn lle, a dysgwyl iddo wneyd, gwaith gwas y pum' talent. Mae yn rhaid ei fod yn rhyfyg mawr mewn dynion ieuainc, ac yn anystyriaeth mawr yn yr eglwysi i ganiatâu iddynt, i fyned i'r areithfa tra y maent eto heb erioed brofi eu hunain yn athrawon llwyddiannus yn yr Ysgol Sabbothol.

Ond i ddychwelyd o'r cyfeiriad yna: dyna beth arall y ceir anhawsder gydag ef, sef cymhwyso darpariadau y drysorfa hon, at anghen, ac amgylchiadau, heb sôn am deimladau, pob lle gwan trwy y gwahanol Siroedd. Dylai fod iddi ei rheolau manwl. Mae rheolau wedi eu gwneyd, ac y mae yn anhawdd, ar hyn o bryd, meddwl am reolau gwell. Mae yr holl Gyfarfodydd Misol hefyd wedi cael llaw a rhan yn eu ffurfiad. Ond erbyn hyn cwynir gan rai nad ydynt yn gymhwys at eu hamgylchiadau hwy, ac nas gallant gydweithio gyda hwy. Diammheu fod yn anmhosibl cael rheolau gwladol nac eglwysig sydd yn gorwedd yr un mor esmwyth ar deimladau pawb; ond y pwnc ydyw, A ydynt yn gweinyddu y daioni mwyaf i'r nifer mwyaf sydd yn bosibl? Os ydynt felly, nid ydyw na gwladwriaeth, na natur, nac hyd yn nôd gras, yn ceisio at, nac yn bòni dim mwy na hyny. Yr ydym yn credu fod rheolau y drysorfa hon yn dyfod i fyny â hyn, neu o leiaf y byddant felly yn fuan, wedi cael ychydig o brawf arnynt; ac o ganlyniad dyledswydd yr holl Gyfundeb ydyw ymdaflu arnynt yn galonog, a chydweithio â hwynt yn egnïol. Hefyd dylai pob lle eithriadol wneyd pob ymdrech i ymgyfaddasu i ddyfod o dan nawdd ac ymgeledd yr hyn sydd yn ddaioni cyffredinol, ac nid bod yn *discord* yn nghynghanedd y Cyfundeb. Mae yn rhaid fod y rhai sydd yn dewis hyny yn dewis peth hynod o anhyfryd.

Gellid dysgwyl ar y llaw arall, fod digon o anrhydedd yn yr eglwysi i beidio cymeryd mantais ar reolau i wrthio eu ceisiadau am fuddiannau y drysorfa. Mae eglwysi *cryfion* heb fod yn *lliosog.* Hyny yw, mae llawer eglwys yn rhifo 150 o aelodau yn gryfach o ddigon i gynnal yr achos nag eglwys yn rhifo 250. Mae yn y gyntaf, fe ddichon, lïaws o ddynion cyfoethog, tra y mae y ddiweddaf yn cael ei gwneyd i fyny yn hollol o weithwyr tlodion, neu hwyrach o ferched mewn gwasanaeth. Tra y bydd yn fendith i eglwysi gweiniaid dderbyn gan y drysorfa, hyderwn y gwneir ymdrech galed gan bob eglwys a allo hyny i beidio dyfod i bwyso arni. Os aiff eu hadnoddau i gynnal eglwysi *cyfoethog*, er heb fod yn lïosog mewn rhif, bydd ei thynged wedi ei benderfynu.

## EIN LLYSOEDD EGLWYSIG.

### III.—PWY SYDD I FYNED I'R GYMDEITHASFA.

*Gan y Parch.* J. EIDDON JONES, *Llanrug.*

GAN mai amcan ein sylwadau ydyw cael gwell trefn a mwy o hamdden yn ein Cymdeithasfäoedd, a thrwy hyny fwyhâu eu defnyddioldeb a'u dylanwad, yr ydym yn tybied fod y pwnc hwn yn meddu cysylltiad agos â'r amcan. Ac y mae yn fater pwysig, yn neillduol felly gyda golwg ar y lle y cynnelir y Gymdeithasfa.

Wrth gwrs, nid ein hamcan yw dyweyd dim o berthynas i'r rhai a ddetholir ac a anfonir gan y Cyfarfodydd Misol. Nid yw ein Cyfundeb wedi trefnu unrhyw gynllun er ethol y cyfryw, na dyweyd dim gyda golwg ar gymhwysder. Yn y pethau hyn y mae y Cyfarfodydd Misol yn amrywio: rhai yn anfon cynnrychiolwyr am flwyddyn, eraill am un neu ddwy Gymdeithasfa; rhai yn anfon hynafgwyr o'r bron *bob* amser, eraill yn newid ac yn dwyn "gwaed newydd" i mewn. Nid ydym yn sicr y byddai trefnu unrhyw gynllun gyda golwg ar yr etholiad (fel y gwneir gan rai o'r cyrff Presbyteraidd) yn llawer o fantais. Y mae gwneyd rheolau, ac ymdrechu am unffurfiaeth, lle nad oes anghenrheidrwydd yn galw am hyny, yn tueddu at ddeddfoldeb. Y mae amrywiaeth yn iachus o fewn terfynau priodol, a dwyn "gwaed newydd" yn sicr o fod yn fendithiol; ond y mae eisieu cofio fod terfynau hefyd. Pe byddai pob Cyfarfod Misol yn anfon rhai newydd ar unwaith, a dim ond rhai felly, byddai golwg ryfedd ar y Gymdeithasfa. O'r tu arall, y mae gormod o duedd yn fynych i gyfyngu pob peth i ryw gylch penodol, ac y mae hyny yn niweidiol hefyd. Beth bynag fyddo y cynllun fydd gan bob sir, dylai fod yn gyfryw ag a roddai chware teg hyd y mae yn bosibl i'r ddwy elfen. Y mae rhai Pregethwyr a Blaenoriaid, y rhai o herwydd oedran a phrofiad a doethineb y mae yn rhaid i'r Gymdeithasfa wrthynt; o leiaf, y mae yn golled iddi fod heb eu pwyll a'u cynghor. Ond yn y dull presennol o ddethol cynnrychiolwyr, y mae y *cylch* yn peri na byddant yn fynych yn anfonedig; ac y maent hwythau, yn ddoethach na rhyw ddosbarth, yn aros gartref, er y buasai yn dda eu cael, gan fod hir wasanaeth a ffyddlondeb wedi eu cymhwyso i fod yn werthfawr. Wrth sylwi ar y Cymdeithasfäoedd, buom yn meddwl ganwaith mai diffyg yn ein trefn ydyw na buasai genym ryw ffordd i hoelio clust y cyfryw wrth ddôr y Gymdeithasfa. Hyn oedd mewn golwg genym yn yr awgrym a wnaethom o barth i gyfansoddiad Pwyllgorau y Gymdeithasfa; a byddai cael rhyw drefn fel hyn i sicrhâu gwasanaeth y cyfryw yn gwneyd y ffordd yn fwy rhydd i'r drefn gyfnewidiol weithio.

Y mae eisieu i'r Cyfarfodydd Misol hefyd gofio fod eisieu Pregethwyr, a Phregethwyr Cymanfa; ac o'r tu arall, y mae yn briodol i drefnwyr y Gymdeithasfa ddeall fod rhywrai yn adnabod Pregethwyr heblaw hwy eu hunain, a rhoi lle hyd y gellir, a lle cymhwys, i cynnrychiolwyr y siroedd. Y mae llawer o deimlad anghysurus wedi cyfodi o ddiffyg cadw y ddau beth hyn mewn golwg: Cyfarfodydd Misol yn teimlo fod eu cynnrychiolwyr etholedig wedi cael eu hesgeuluso, a gwŷr da y lle yn teimlo nad oedd y siroedd wedi anfon fel y dylasent. Y mae tipyn o ystyriaeth ac o ysbryd yr efengyl yn anghenrheidiol o'r ddau tu. Y mae trefniadau y pregethau yn rhai o'r Cymdeithasfäoedd yn hynod o anfoddhäol. Ond os caiff synwyr da ac ystyriaeth le priodol, daw pethau i'w lle; ac y mae yn ddymunol iawn i hyny fod, rhag i'r peth mwyaf ei bwys gael ei golli ac arwain i ddyryswch. Yn yr hen amser hefyd, byddai y Gogledd a'r De yn anfon Pregethwyr y naill i Gymdeithasfaoedd y llall, a gwneid hyny gan y siroedd bob yn ail; ond o herwydd teimladau cyffelyb i'r rhai a ddesgrifiwyd uchod, dygwyd hyny i derfyniad, gan adael i'r lleoedd y bydd y Gymdeithasfa alw am frodyr o'r naill dalaeth i'r llall; ond y mae hyny hefyd wedi myned i raddau allan o arferiad. O'r braidd nad yw yn *bity* fod y cwlwm hwn wedi ei dori yn hollol; a thybiwn y byddai yn fuddiol ei adnewyddu, ond fod i'r naill Gymdeithasfa anfon cynnrychiolwyr i'r llall, ac nid gadael hyny i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol. Mewn canlyniad i'r pethau uchod, y mae yn arferiad y rhan fynychaf i'r lleoedd lle y bydd y Gymdeithasfa wahodd brodyr neillduol i'r Gymdeithasfa i bregethu. Y mae yr arferiad hon yn sicr o fod yn un niweidiol, ac o arwain i ganlyniadau annymunol; a goreu po gyntaf y diddymer hi. Aiff yn fwyfwy felly, fel y treigla amser ymlaen; gwnaiff ddosbarth o bregethwyr ffafredig gan leoedd, a meithrina hyny ysbryd eiddigedd mewn cylchoedd, lle o bob man y dylid ymdrechu ei gau allan. Yr ydym yn eiddigus iawn rhag i Fethodistiaeth gael ei difwyno gan unrhyw ysbryd o'r fath hwn, ac am hyny yn dymuno galw sylw at y perygl sydd yn yr arferiad. Y mae gormod o'r natur lygredig ynom wrth natur heb i unrhyw arferiad fel hyn ddyfod yn lloches iddo. Cryfhäer y Gymdeithasfa gymaint ag a ellir trwy gylymu wrthi nifer digonol o'r "colofnau," ac na adawer i *props* mympwyol ei hanharddu a'i gwneyd yn ansefydlog.

Gan hyny, dysgwylir i'r Gymdeithasfa

y dydd cyntaf, y Cymedrolwr (dyma y gair Methodistaidd, nid *llywydd* na *chadeirydd*) yr Ysgrifenydd, y cynnrychiolwyr oll, ac aelodau y Pwyllgorau. Y mae yn ddyledswydd ar y rhai hyn fod yn bresennol, ac y mae ganddynt waith i'w wneyd. Tybiwn fod rheol wedi ei phasio fod y cyn-Gymedrolwyr yn aelodau o'r Cyfeisteddfod; ond y mae yn ammheus genym a basiwyd hi yn gyfansoddiadol, hyny yw mewn dwy neu dair o Gymdeithasfäoedd olynol. Ond fodd bynag, deuent hwy yn y cyffredin i mewn ar y Pwyllgorau yn ol y cynllun a awgrymasom o'r blaen. Yr ail ddydd, yn nghyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid ar wahân, a chyfarfodydd cyffredinol y Gymdeithasfa, y mae gan bob Gweinidog, Blaenor, a Phregethwr fydd wedi ei dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol, *hawl* i fod yn bresennol a phleidleisio. Y mae yr hawl hon, yn ol y cyfansoddiad, yn eiddo i bawb o'r swyddogion, nid yn unig o fewn terfynau y Gogledd, ond hefyd o'r Dê, ac o bob lle arall lle y mae y Cyfundeb Methodistaidd. Yn hyn y mae Methodistiaeth yn wahanol i bob cyfundeb arall, ac yn hyn y mae yn *un* drwy yr holl fyd. "Ymhob Cymdeithasfa Chwarterol ystyrir fod yr holl Gorff neu Gyfundeb yn bresennol yn eu swyddogion neu yn eu cynnrychiolwyr y rhai a fyddant yn bresenuol," medd y *Constitutional Deed.* Dylid deall hyn. Nid cyfeillion dyeithr fydd y rhai o'r De pan yn dygwydd bod yn bresennol yn Nghymdeithasfa y Gogledd, ond brodyr yn meddu yr un safle â phawb arall yn y Gymdeithasfa. Yr oedd yr hen bobl yn ei ddeall ac yn gweithredu arno, cyn bod sôn am anfon cynnrychiolwyr o'r naill dalaeth i'r llall. Ond nid oes *hawl* gan neb ar garedigrwydd preswylwyr y lle y cynnelir y Gymdeithasfa. Mater o lettŷgarwch a charedigrwydd yn yr efengyl ydyw hyny yn unig. Y mae y llettŷgarwch hwn wedi bod yn nodweddiadol o'r Methodistiaid, ac wedi ymhelaethu nes dyfod yn arferiad i bawb o'r swyddogion gael cyfranogi yn helaeth o hono. Ond nid yw yr arferiad hon wedi newid ei ansawdd, nac wedi roddi hawl i neb arno. Y mae yn un o'r pethau tlysaf ac ardderchocaf a feddwn, ac y mae ei gymwynasgarwch wedi bod ar hyd y blynyddoedd uwchlaw cyfrif. Anffawd o'r mwyaf fyddai iddo gael ei ladd, trwy i rywrai ormesu yn ormodol a dianghenrhaid arno, nes gwneyd y Gymdeithasfa yn faich rhy anhawdd ei ddwyn; ac am hyny dylai y Cyfundeb fod yn wyliadwrus drosto rhag i neb gymeryd mantais annheg arno.

Dylid cofio, *yn gyntaf,* nad oes eisieu myned i'r Gymdeithasfa y dydd cyntaf, ond i'r rhai y mae anghen am danynt. Pa mor ddyddorol bynag y dichon Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa fod, nid yw hyny yn un rheswm dros ormesu ar neb; ac nid hyfryd o herwydd hyn yw gweled llawer o *wrandäwyr* yn y Cyfeisteddfod. Dichon fod rhyw ddosbarth y byddai yn dda iddynt gofio hyn. *Yn ail,* mai caredigrwydd sy'n darparu llettŷ a bwyd yr ail ddydd, ac nid gweddus yw clywed swyddog yn gofyn yn awdurdodol am gael ei gyfarwyddo i lettŷ. Digon anweddaidd hefyd yw gweled rhai o ffordd digon agos i fyned i'w cartrefi yn pwyso ar eraill pan y mae cymaint o faich eisoes. Y mae gwendid a henaint o angenrheidrwydd yn eithriadol. Gall fod rhai yn tybied, gan eu bod wedi rhoddi ychydig geiniogau yn y casgliad at y Gymdeithasfa, y dylent hwy gael cynnaliaeth ar draul y Gymdeithasfa. Y mae hyn mor afresymol fel nad oes eisieu aros i'w ateb. Mae lle i ofni fod dosbarth i'w cael sydd yn cymeryd mantais ar garedigrwydd i *spungio* ar y Cyfundeb yn ei Gymanfäoedd a'i Gyfarfodydd Misol; ac y mae yn anghenrhaid cael gwaredigaeth oddiwrthynt; ïe, hyd yn nôd fod enwadau eraill weithiau yn cymeryd gafael yn y fantais hon. Pell ydym o awgrymu ysbryd cul ac anhaelionus; ond y mae eisieu gwneyd chwareu teg â'r lleoedd sydd yn llafurio yn galed dan faich y Gymdeithasfa. *Yn drydydd,* dichon fod eisieu awgrymu i rai fod amser i ymadael o'r Gymdeithasfa, a bod eisieu i'r rhai fydd yn trafferthu gyda'r bwyd a'r llettŷ gael rhyw gymaint o'r moddion gras hefyd.

Yn sicr y mae eisieu trefn hefyd ar *society* wyth o'r gloch y dydd olaf. I'r swyddogion yr oedd y *society* hon ar y cyntaf; a mawr oedd y gofal gan ein tadau fod pawb a gai fyned i mewn yn swyddogion. Bellach y mae yn gyfarfod agored i bawb; ac nid ydym yn cwyno am hyny, ond y mae y myned i mewn ac allan, a'r anesmwythder didòr, yn fynych yn ei gwneyd yn annyoddefol o ddifudd. Gwelsom y cymedrolwyr yn methu yn dêg a chael llywodraeth ar y bobl, ac ni byddai dim hamdden na thawelwch i ymdrin yn weddaidd â'r materion pwysig oedd dan sylw. Tybiwn fod yn *rhaid* cael hyn, beth bynag fydd y moddion fydd raid ei ddefnyddio tuag at ei gael. Y mae amser yn rhy werthfawr, a llês y Cyfundeb yn rhy bwysig, i oddef i annhrefn eu rhoddi dan draed. Gallai y byddai symud yr odfa chwech o'r gloch i hanner awr wedi saith, neu wyth o'r gloch, yn gynnorthwy i gael y seibiant a'r tawelwch priodol, ac am y gweddill y gallai cyd-ddealltwriaeth perffaith cydrhwng swyddogion y Gymdeithasfa a swyddogion y lle fod yn ddigon.

Yr ydym wedi anturio gwneyd y sylw-

adau hyn, am fod dymuniad ein calon am weled y Gymdeithasfa yn llawer mwy grymus a dylanwadol er lleshâd i'r Cyfundeb, a'i gweled yn gallu ymaflyd yn fwy difrifol yn agwedd ysbrydol crefydd yn ein plith, fel y gallo yn fwy nag erioed ddyrchafu ei llef dros Dduw yn erbyn drygau yr oes, ac adeiladu corff Crist.*

---

## DYN.

MAE dyn o ran ei gorff ac o ran ei feddwl o'r gwneuthuriad mwyaf rhyfedd. Y mae yn greadur marwol anfarwol—yn fôd cyfansawdd o ddau fyd, y materol a'r ysbrydol. "A'r Arglwydd Dduw a wnaeth y dyn o bridd y ddaear;" a "dychwel y pridd i'r ddaear fel y bu;" ond y mae ysbryd mewn dyn; a "dychwel yr ysbryd at Dduw, yr hwn a'i rhoes ef." Gellir meddwl nad oes dim ar y ddaear yn fwy pwysig i ddyn nag adnabod ei hunan, gyda'r unig eithriad o adnabod yr Hwn a'i gwnaeth. Dywed y bardd,

"Dymunwn adnabod holl anian,
Ac agor pob cuddfan fedd hi;
Ond eto adnabod fy hunan
Sy 'n llawer mwy pwysig i mi."

Addefwn, wrth ddechre, fod dyn yn greadur mor ryfedd, fel wrth geisio ei ddeall, nas gallwn ei amgyffred—fel wrth geisio ei fesur, nas gallwn ei amgylchynu—ac fel wrth geisio ei ddarlunio, yr ydym yn ymgolli mewn byd o ddirgeledigaethau. Ond er yr holl ddirgelwch a berthyn i ddyn, nid yw hyny yn gwneyd i ffwrdd na ddylid ymdrechu ei ddeall mor bell ag y gellir. Cyn y gall dyn wybod ei fôd, dylai hefyd i ryw fesur wybod pa fath fôd ydyw. Ac os metha ar ol gwneyd yr ymchwiliad mwyaf dyfal, gall fod yn sicr fod adeg yn ei ymyl, pryd y cymer ei ysbryd ei hun ei ehedfan i fyd ei gyd-ysbrydion; yna, ond odid, y dadlenir pob dirgelwch. "Ond beth yw dyn wedi y cwbl?" medd Pascal: "A nothing before infinity, an universe before nothing; a medium between the two. He is infinitely distant from both extremes; and his being is no less distant from that nothing from which he was taken, than from that infinity in which he is swallowed up."

Pa mor fanwl a dwfn bynag y gall athronwyr chwilio i fewn i ansawdd dyn a'i gynneddfau, yn ngoleuni natur a rheswm, rhaid i bob ymchwiliad iddo gael ei benderfynu yn ngoleuni dadguddiad a chrefydd cyn y byddo yn ddiogel oddiwrth dwyll a chyfeiliornad. "Rhaid i'n gwybodaeth ni am yr enaid," medd Bacon, "gael ei dwyn atom gan yr un ysbrydoliaeth ag a roddes fôd iddo." Mae fod y Bibl yn dywedyd, "Duw a anadlodd yn ei ffroenau ef anadl einioes, a'r dyn a aeth yn enaid byw," yn ddigon o sicrwydd i'r dyn gredu ei fod yn berchen enaid. Nid oes anghen cael rheswm dros unrhyw haeriad wedi y gwybydder mai felly y dywedodd yr Arglwydd. Ond er mwyn cyfarfod â'r athronydd di-Dduw, a'r dysgedig dirâs, y rhai a roddant fwy o dderbyniad i dystiolaeth rheswm a natur nag i'r dystiolaeth Ddwyfol ei hun, dygir ymlaen dystiolaeth ffeithiau ymwybyddiaeth, y rhai sydd yn cynnwys rheswm ynddynt eu hunain.

Mae sicrwydd bodolaeth yr enaid mor eglur a diammheuol trwy ymwybyddiaeth, ag ydyw bodolaeth y corff trwy y synwyrau a'r teimladau. Nid ydyw ein gwybodaeth am y corff mwy nag am yr enaid yn perthyn yn unig i un ran; ond rhaid ei ystyried yn perthyn i'r ddwy ran, sef i'r corff ac i'r enaid, eithr yn fwyaf uniongyrchol i'r enaid. Mae y wybodaeth a gynnwysir mewn ymwybyddiaeth yn weithredol yn profi mai gweithred fy meddwl i fy hun ydyw, ac hefyd y mae yn un uniongyrchol a phersonol. Dyma ystyr brawddeg Descartes,—"Cogito ergo sum." "Yr wyf yn meddwl, ac am hyny yr wyf yn bod."

Rhoddir arbenigrwydd mawr ar ddyn yn ei greadigaeth ragor un creadur arall. Dangosir ei greadigaeth ef yn ffrwyth cydymgynghoriad y Personau Dwyfol:—"Gwnawn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain." Nid trwy rym y gorchymyn, 'bydded,' 'heigied,' 'dyged,' y dygwyd dyn i fod. Mewn ffurf orchymynol yr oedd y Creawdwr o'r blaen yn dwyn pob peth i fod, ond yn awr mewn ffurf o gydymgynghoriad, yr hyn sydd yn dangos fod rhyw bwysigrwydd arbenig yn perthyn i'r creadur oedd yn cael ei ddwyn i fod. Nid ar ddelw a llun yr un creadur oedd o'i flaen y gwnaed dyn, ond ar ddelw a llun yr Hwn a'i gwnaeth—yn debycach i'w Greawdwr nag i un creadur arall. Ac felly y mae creadigaeth dyn y ryfeddaf a'r fwyaf pwysig o'r holl greaduriaid yn y rhan hon o greadigaeth y Duw mawr.

Hefyd, mae amser creadigaeth dyn yn arddangosiad eglur fod yn perthyn iddo ryw bwysigrwydd ac urddas uwchlaw un creadur arall ar y ddaear. Crëwyd ef ar y chweched dydd, wedi gorphen creu pob peth arall—"y nefoedd a'r ddaear a'u holl

---

* Dealler fod y byrdraethodau hyn ar *Ein Llysoedd Eglwysig* wedi eu hysgrifenu, a'u hanfon i Olygydd y DRYSORFA, cyn yr ymdrin yn Nghymdeithasfa y Rhyl ar drefniad y Cymdeithasfäoedd. Hyderir y ceir, trwy y Cyfeisteddfod a nodwyd yno, welliadau dymunol ac angheurheidiol.

lu hwynt" wedi eu cwbl orphen—cartref y dyn yn barod—pob ystafell isod ac uchod wedi ei dodrefnu—yr haul, y goleuad mwyaf i lywodraethu y dydd, wedi ei osod gan y Creawdwr doeth a da yn yr ystafell fwyaf cyfleus, heb fod yn rhy isel na rhy uchel, rhy bell na rhy agos, i wasanaethu ar ddyn ar y ddaear; ac yn ei absennoldeb, y lloer, y goleuad lleiaf, i lywodraethu y nos, ac i daflu ei goleuni dysglaer ar y ddaear. "A'r ser hefyd a wnaeth efe," gan eu galw hwynt oll wrth eu henwau, a chan amlder ei nerth Ef a'i gadarn allu, ni phalla un o honynt ag ufuddhâu i wasanaethu dyn ar y ddaear. Hithau y ddaearen, preswylfod dyn, oedd gyflawn o bob darpariaeth a phrydferthwch, fel nas gallai yr Anfeidrol Ddoeth ei hun, ar ol archwilio y cyfan, fel un cyfanwaith mawr, lai na dyweyd, "Wele, da iawn ydoedd." Yr oedd pob ystafell yn nghartref dyn mor orphenol a hardd, fel ag y "cydganodd sêr y bore, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw," mewn boddlonrwydd yn yr olwg arnynt fel trigfa gymhwys creadur ar ddelw Duw, ac un oedd i fod i lywodraethu ar bob peth ar y ddaear. Dyn oedd nôd uchaf y greadigaeth; ac yn ei greadigaeth y gwelir dyben creadigaeth pob peth arall. Heb ddyn, buasai creadigaeth y byd yn ymddangos yn greadigaeth ofer. Nid yn unig y mae yn nghyfansoddiad dyn elfenau a deddfau y greadigaeth islaw iddo, ond y mae ynddo elfenau uwch, a galluoedd sydd yn ei gyfaddasu i fod yn llygaid i'r cwbl, i ddarllen eu rhyfeddodau, a gogoneddu ei Greawdwr yn yr olwg ar y cyfan. Yr oedd dyn wedi ei greu i fod yn enau y greadigaeth—i osod allan fawl, gallu, a doethineb y Creawdwr; a chanddo ef yn unig yr oedd meddwl i allu dal cymundeb â'r Anweledig ei hunan. Pa ardderchogrwydd bynag a arddangoswyd yn nghreadigaeth y byd cyn creu dyn, nid oedd un creadur ar y ddaear yn gymhwys i fwynhâu, caru, ac addoli y Creawdwr.

"Er hyn oll o waith cadarn allu—Duw,
Nid oedd bôd i'w garu;
Nid oedd yn llengoedd y llu
Berchen deall i'w barchu."

Ond yn awr, wedi gorphen yr holl ddarpariaeth fawr yn y nefoedd, yn y môr, ac ar y ddaear, wele y dyn ei hun yn cael ei ddwyn i fod ar ddelw yr Hwn a'i creodd, a'r hwn yr oedd ei wybodaeth am ei Greawdwr a'i weithredoedd yn gyflawn, yn ol ei radd fel creadur. Yr oedd ei feddwl yn bur a digwmwl, yn gallu edrych ar y gogoniant Dwyfol yn y pethau a welid; ac yr oedd agwedd ei holl ysbryd yn hollol addas i'w adnabyddiaeth o'r Hwn a'i gwnaeth. Nid oedd y cread i'r dyn cyntaf ond drych yn adlewyrchu gallu, mawredd, tegwch, a gogoniant y Creawdwr o bob cyfeiriad. Ato ef yr oedd ei serch a'i fawl yn ymddyrchafu fel yr arogldarth boreuol; ac nid oedd hyny yn achosi yr anghydgord lleiaf yn nghaniadau y côr nefol ei hunan. Efe oedd, nid yn unig arglwydd y greadigaeth, ond offeiriad y byd mawr isod; ac efe yn unig oedd i offrymu boreuol a hwyrol aberth moliant am holl waith y greadigaeth. Dywed un o'r beirdd paganaidd wrth ddesgrifio y cread, fod un creadur arall yn eisieu, un ardderchocach na'r creaduriaid direswm—un yn meddu ar feddwl wedi ei ffurfio i arglwyddiaethu ar y gweddill. Tra mae creaduriaid eraill yn plygu eu pen i lawr, ac yn gogwyddo i edrych ar y ddaear, eu mam, y mae hwn i edrych i fyny i'r lle y daeth o hono.

Ond wrth agor y Bibl, yr hyn sydd yn ein cyfarfod gyntaf oll ar ol darllen hanes ei greadigaeth, ei bod "yn dda iawn," ydyw hanes ei gwymp, a hwnw yn ddrwg iawn. Mae profiad moesol dyn, yn gystal a'r hanesiaeth ysgrythyrol, yn tystiolaethu nad yw dyn yn awr fel y bu unwaith, nac fel y dylai fod; nad ydyw ei gyflwr yn dda rhyngddo a'i Greawdwr, ac nad ydyw yn ateb dyben ei greadigaeth. Nid oes heddwch yn ei fynwes, na chydgordiad rhwng galluoedd ei enaid. Nid yw ei gydwybod a'i galon yn gallu cydweled, na chydredeg yn yr un cyfeiriad. Mynych mae y gydwybod yn condemnio yr hyn sydd ddrwg, ac yn cymeradwyo yr hyn sydd dda, ond y serch a'r ewyllys yn ei gwrthwynebu. Ac nid oes digon o allu yn yr enaid i ddwyn yr anghydfod i derfyniad boddlonol. Edrycher ar ddyn o'r cyfeiriad a fyner, o'i enedigaeth i'w fedd, gwelir ei fod ef y rhyfeddaf o'r holl greaduriaid; mae yn dechre marw pan yn dechreu byw. A'r arwydd cyntaf o fywyd a geir ynddo, ond odid, fydd ei glywed ef yn wylo o dan effeithiau afiechyd, poen, a blinder. Ac os câ fore i flodeuo a thyfu, bydd prydnawn yn dilyn, pryd y torir ef ymaith ac y gwywa. Gall barug y bore a rhew y nos ei wywo cyn ymagor, a pheri i obaith ei rïaint golli yn nhywyllwch y bedd. Ond os cyrhaedda ddeng mlynedd a thriugain, ïe, os—un o bob cant sydd yn gwneyd—fe fydd cant o'r rhai oedd yn cydgychwyn ar yr un yrfa aruthfawr ag yntau wedi ehedeg ymaith, a'i adael wrtho ei hunan.

Ond er yr holl alanasdra a wnaeth pechod, a hyny trwy anufudd-dod gwirfoddol dyn i orchymyn esmwyth ei Greawdwr, gellir canfod eto fod cynneddfau a galluoedd, hyd yn nôd ymhlith llygredigaeth natur dyn, ag sydd yn dangos mawredd ac ardderchogrwydd gwreiddiol ei fodolaeth, ac hefyd yr hyn a all efe fod eto wedi ei

adferu trwy ras ar y ddelw a gollodd trwy bechu. Dichon nad oes un ystafell yn aros yn gyfan, nac un rhan o'r adeilad orwych yn cael ei defnyddio i'w dybenion gwreiddiol; eto ceir yma ac acw ymysg y dinystr mai adfeilion palas ydyw, ag sydd yn ei wahaniaethu oddiwrth adfeilion bwthyn sydd wedi ei ddinystrio gerllaw iddo. Y gwir yw, y mae dyn yn greadur hynod; y mae ynddo fawredd a bychandra. Mae ganddo rai priodoliaethau ag sydd yn ei wneyd yn debyg i angylion ac i Dduw ei hunan; ac y mae ganddo rai eraill ag sydd yn ei gysylltu ef â'r greadigaeth anifeilaidd a'r angylion syrthiedig. Ar un llaw y mae galluoedd dyn yn ei gysylltu â'r dosbarth uchaf o greaduriaid rhesymol; y mae ganddo gôf ag sydd yn ei alluogi i fyw yr amser a aeth heibio drosodd drachefn, cydwybod ag sydd yn tystio dros Dduw, deall nad oes bron derfyn ar ei gynnydd, dychymyg nas gellir ei chyfyngu o fewn terfynau amser a'r byd hwn, ond crwydra i dragywyddoldeb diderfyn gydag awydd am anfarwoldeb, ac arswyd rhag y meddwl o ddiddymiad. Mae dyn yn gallu deall, a thrwy hyny yn medru ymresymu. Pe byddai dyn yn amddifad o'r gallu hwn, ni byddai yn fwy pwysig ac urddasol na chreaduriaid eraill; ond am fod y gallu hwn yn ei feddiant, y mae efe y blaenaf yn y greadigaeth.

Hwyrach mai y fan oreu i adnabod dyn ydyw wrth ei waith. Adwaenir pren wrth ei ffrwyth; ond "bachgen a adwaenir wrth ei waith," medd y gŵr doeth. A gellir gofyn yn y fan yma, Pa waith sydd nad all dyn ei wneyd? Mae efe wedi gorchfygu pob creadur yn y byd, gan eu gwneyd yn weision iddo; y maent oll wrth ei lywodraeth ac at ei wasanaeth. Mae yn gallu pwyso a mesur y ddaear, dosbarthu a rhifo y sêr. Mae y gwynt a'r gwlaw, y dwfr, y tân, a'r mellt, dan ei awdurdod. Ië, "y mae efe yn estyn ei law at y gallestr; y mae efe yn dymchwelyd mynyddoedd o'r gwraidd. Y mae efe yn peri i afonydd dori trwy y creigiau, ac y mae ei lygaid ef yn gweled pob peth gwerthfawr. Y mae efe yn rhwymo yr afonydd rhag llifo, ac yn dwyn peth dirgel i oleuni." Pwy gan hyny a all ddyweyd pa beth nas gall dyn ei wneyd? Ië, oni ddywedir y gall efe wneyd i'r cryfarfog ei hun ffoi o'i flaen?

O y fath resyn gweled y fath greadur a dyn yn cael ei orchfygu ganddo ei hun! Ond gellir dyweyd eto am ddyn, pa fri, pa anrhydedd, pa wynfyd bynag oedd yn ei feddiant yn y baradwys gyntaf, y gall eu cyrhaedd eto. Mae adfeddiant Gwynfa eto yn bosibl i ddyn. Mae Duw wedi cael gafael ar ddyn eto, a dyn wedi cael gafael ar Dduw, yn Mherson y Dyn Crist Iesu. Y Dyn Crist Iesu ydyw canolbwynt nefoedd y dyn byth mwy. Dyma y fan iddo gyfarfod â Duw a "chyfiawnder pur y nefoedd yn siriol wenu arno byth."

"Pa le mae natur dyn yn awr,
  Y natur aeth mor ddofn i lawr;
    A godwyd hon hyd nef y nef?
  O Dduw, a godaist natur dyn
  I undeb byth â thi dy hun!
    Pa beth yw dyn pan fawrheit ef?"

R. P.

*Porthdinorwic.*

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD III.

*Dydd y Brofedigaeth.*

GYDA phrudd adgofion yr wyf yn ysgrifenu y bennod hon; a phe buasai bosibl i mi roddi hanes ffyddlawn o fy mywyd heb son am yr hyn a adroddir ynddi, buaswn yn gwneyd hyny, ond nis gallaf. Yn awr mewn gwaed oer, ac mewn oedran addfetach i ffurfio barn am bethau, dichon nad ydwyf yn coleddu yr un syniad am y dygwyddiadau yr wyf yn myned i'w hadrodd ag oeddwn ar yr adeg y cymerasant le. Pa fodd bynag, yn y wêdd yr edrychwn i arnynt y pryd hyny y bydd i mi geisio eu desgrifio.

Yr oedd y Caeau Cochion yn un o brif weithfeydd y gymydogaeth y magwyd fi ynddi; ac yr oedd yn cyflogi—a chyfrif y bechgyn—rai cannoedd o bobl. Saeson, os wyf yn cofio yn dda, oedd yr oll o'r perchenogion. Ar un adeg goruchwylid holl "danddaearolion bethau" y gwaith gan Gymro syml a gonest o'r enw Abraham Hughes, diacon gyda'r Annibynwyr. Yr oedd efe yn ŵr pwyllog ac yn meddu synwyr cryf a dylanwad mawr ar y gweithwyr oeddynt dan ei ofal. Pa anghydwelediad bynag a godai ymhlith y dynion nid oedd eisieu ond i Abraham Hughes gyflafareddu, a thawelai pobpeth yn union. Dirgelwch ei ddylanwad ydoedd ei graffder neillduol i ganfod trigle y bai, a'r ymddiried llwyr oedd gan bawb yn ei onestrwydd a'i grefydd. Profasai ei hun bob amser yn gyfaill calon i'r gweithiwr, am y gwyddai efe yn dda beth oedd bod yn

weithiwr ei hun. Gydag ef yr oedd yn fater cydwybod i gadw ei lygaid yn agored i fudd y meistri y derbyniai ei gyflog ganddynt; ond ni rwystrai hyny iddo ystyried yn feunyddiol ddedwyddwch a diogelwch bywyd y dynion a welai bob dydd yn chwysu ac yn baeddu yn nghanol peryglon. Ystyrid ef yn un o'r glöwyr medrusaf a mwyaf profiadol yn y wlad; ac yn ystod ei oruchwyliaeth ef yn y Caeau Cochion, elai pobpeth ymlaen yn gysurus, ac ni ddygwyddodd un cythrwfl gwerth sôn am dano.

Perthynai iddo un anfantais fawr yn ei gysylltiad â'i uchelwyr: anmherffaith iawn oedd ei Saesoneg; ac yn eu cynghoriaethau parai hyn iddo ymddangos ar adegau heb fod mor gwbl syth yn ei ystori ag y dymunasai; ac ymboenai yntau yn fawr o'r herwydd. Sylwasai yn ddiweddar fod un neu ddau o'r cyfarwyddwyr yn ymddifyru yn ei roddi trwy gwrs o arholiadau manwl ynghylch y gwaith; ac er nad oedd ganddo ddim i'w ofni yn y ffordd hono, yr oedd yr anhawsder a deimlai i egluro ei hun yn ei osod, fel y tybiai efe, mewn sefyllfa annymunol yn fynych. Yr oedd wedi ei arteithio mor dost gan y croesholiadau hyn fel na theimlodd yn siomedig nac yn ofidus pan ddywedwyd wrtho un diwrnod yn nghyfarfod y cyfarwyddwyr mai gwell oedd iddo ymadael, gan fod ganddynt ŵr o Sais tebycach o wneyd ei orchwyl yn well, ac hefyd o allu rhoddi adroddiad cyflawnach o sefyllfa y gwaith. Gyda'r gair, teimlodd Abraham Hughes faich mawr yn syrthio oddiar ei ysgwyddau; ac yn ei ffordd glapiog ei hun dywedodd wrthynt cyn ymadael, a'i frest yn chwyddo tipyn wrth siarad—"Foneddigion, mae yn hyfryd genyf glywed yr hyn a ddywedwch. Os gall y gŵr yr ydych yn son am dano gadw gwaith y Caeau Cochion i fyned ymlaen mor esmwyth a thangnefeddus er llês y meistr a'r gweithwyr am chwe' mis ag yr ydwyf fi wedi gwneyd am chwe' mlynedd, yn sicr y mae yn ddyn clyfar." Yna cymerodd ei het, moesymgrymodd iddynt, ac aeth allan. Dywedai yn fynych ar ol hyn ei fod yn credu ddarfod iddo gael help oddiuchod i siarad Saesoneg pan yn ymadael â'i feistri. Pan aeth Abraham Hughes yn ol i'r gwaith, a hysbysu y dynion am y newydd, yr oedd yno alar a gofid nid ychydig. Buasai ambell un o'r glöwyr yn dymuno cael dadgan ei deimlad mewn iaith na oddefid yn nghlywedigaeth Abraham Hughes, ac iaith nad oedd yn gwbl *parliamentary*. Ond yn ei bresennoldeb ef, yr oedd yn rhaid llyncu y geiriau wedi iddynt ddyfod i'r genau; ac yr oeddynt mor fawr a hallt nes dwyn dagrau i'r llygaid, y rhai a syrthient i lawr y ddwyrudd gan adael rhes wen lân ar y gwynebau duon, i ddangos mor bur oedd y teimlad a'u cynnyrchent. Awgrymid, a dywedid yn lled groew gan y gweithwyr nad unrhyw anfedrusrwydd nac anffyddlondeb ar ran Abraham Hughes a barodd i'r cyfarwyddwyr ei annog i ymadael, ond mai eisieu yr oedd rhai o honynt wneyd lle i gyfaill iddynt oedd mewn anghen am fara. Pa un ai cam ai cymhwys, parodd y grediniaeth hon i'r gweithwyr gasâu eu goruchwyliwr newydd cyn iddynt erioed weled ei wyneb. Ac ni ddarfu i ymddangosiad na chydnabyddiaeth â Mr. Strangle —canys dyna oedd enw y gŵr—leihâu ond yn hytrach ddyfnhâu eu hadgasedd ato. Gŵr canol oed ydoedd, bŷr, boldew a thrystiog; a chariai yn ei berson ei hun holl erwindeb, afledneisrwydd, ac anwybodaeth ei wehelyth yn Wigan. Yr oedd ei iaith yn grâs ac anghoeth; a gwenai hyd yn nôd y glöwyr annysgedig wrth ei glywed yn dyweyd "Ah" am *yes*, a "mun" am *must*. Ond nid oedd ei iaith ond diffyg bychan ynddo o'i gymharu â'i hunanbwysigrwydd annyoddefol, a'i ddiystyrwch o bawb o'i gwmpas. Cafodd y llysenw *bulldog* y diwrnod cyntaf y daeth i'r gwaith; ac yn wir wrth i mi alw i'm cof ei drwyn bŷr pantiog, a'i ên lydan, yr wyf yn meddwl pe buasai yn hòni perthynas â'r rhyw hwnw o greaduriaid na fuasai neb yn ammheu ei linach. Dichon, hefyd, mai yr hyn a allasai berii un ammheu ei fod o'r tylwyth a fuasai ei honiadau: pe cymerasid ef ar ei air ei hun, yr oedd yn gwybod yr holl wybodaethau, ac ni wnaethai erioed gamgymeriad. I fod yn fyr—yr oedd Mr. Strangle yn waith glo ynddo ei hun—*main coal*, *hollin byeman*, torwr, sheltrwr, *shaft*, simdde, *engine house*, *boiler* a'r cwbl, yn enwedig yr olaf. Ond dywedai Bob, ac wrth gwrs, credwn fod pobpeth a ddywedai ef yn gywir, y gallai siaced wlanen Abraham Hughes oruchwylio gwaith y Caeau Cochion yn llawer rhagorach na Mr. Strangle. Yn sicr ni chystedlid gwrthwynebiad y gweithwyr at Mr. Strangle gan ddim ond ei gasineb yntau at Gymry a Chymraeg. Ymhyfrydai yn eu diystyru, a gwnai bobpeth ynglŷn â'r gwaith mewn dull hollol groes i'r hyn yr arferai Abraham Hughes. Y canlyniad fu iddo yn fuan dynu y gwaith yn ei ben, fel y dywedid, a bod dan orfod i ddefnyddio gwerth rhai cannoedd o bunnau o goed i gynnal y lle wrth ei gilydd. I wneyd i fyny am y gôst hon, ac i gadw ei ben gyda'r cyfarwyddwyr, nid oedd un llwybr yn agored iddo ond gorthrymu a dirwasgu y gweithwyr. I mi grynhoi, oblegid cymerai i mi lawer ó amser i adrodd yr holl hanes, yr oedd sefyllfa pethau mor annymunol fel yr ofnid yn ddyddiol gan fasnachwyr y dref a'r gymydogaeth yn gyffredinol glywed fod *strike* yn ngwaith y Caeau Cochion.

Rhywbeth yn debyg i hyn oedd yr amgylchiadau pan gynnelid "cyfarfod y *colliers*" y soniais am dano yn y bennod o'r blaen, a phryd y siaradodd Bob mor ragorol, fel y tybiwn i. Drannoeth, pan oedd fy mam yn ymddyddan â chymydoges ynghylch y cyfarfod, daethum i ddeall paham y pruddhaodd hi gymaint wrth fy adroddiad o hanes Bob yn anerch y bobl. Ofni yr oedd i fy mrawd dynu ei hun i helynt. Dywedai hi fod yn werth dyoddef tipyn o galedi er mwyn tangnefedd. O'r ochr arall tybiai y gymydoges fod yn hen bryd i rywun siarad—fod y cyflogau mor fychain fel nad oedd yn bosibl cadw teulu, ond ei bod hi wedi siarsio ei gŵr i beidio dyweyd gair, nac i wneyd ei hun yn amlwg mewn ffordd yn y byd. Ac yr wyf yn cofio i fy mam wneyd sylw rywbeth i'r perwyl canlynol:—

"Felly, Marged Pitars, yr ydach chi yn awyddus i Bob ni ac eraill ymladd y frwydr, ac i Wmphre eich gŵr a phawb sydd yn perthyn i chi fod fel y Dan hwnw gynt yn aros mewn llongau, a dyfod i mewn am ran o'r anrhaith wedi i'r rhyfel fyned drosodd. Mae yna lawer Dan yn ein dyddiau ninnau, fel yr oedd Mr. Davis, Nesquis, yn deyd."

Nid oedd Marged yn gwybod digon o'r Ysgrythyr i ddeall y gymhariaeth; ond deallodd yn burion fod ynddi ergyd iddi hi, a throwyd yr ymddyddan gan hyny at rywbeth arall.

Mor fuan y gwiriwyd ofnau fy mam! Pan ddaeth Bob adref o'i waith y noswaith hono, edrychai yn synfyfyriol. Wedi iddo ymolchi a chael ymborth, ebe fy mam wrtho,

"Bob, mi wn ar d'olwg di fod gynat ti newydd drwg; wyt ti wedi cael notis?"

"Do," ebe fe, "mae Morris Hughes, James Williams, John Powell, a minnau i ymadael o'r gwaith ddydd Sadwrn nesaf."

"Wel, wel," ebe fy mam, "be nawn ni rwan?"

"Gwneyd ein dyledswydd, mam, ac ymddiried i Ragluniaeth," ebe Bob.

"Ië, fy machgen; ond a wyt ti'n meddwl dy fod di wedi gneyd dy ddyledswydd? Mi ddaru mi dy siarsio di lawer gwaith, onid do? i gymyd gofal a pheidio cymyd rhan mor amlwg yn yr helynt. [Meddyliwn am sylw fy mam ar Dan mewn llongau.] Mi wn o'r gore fod gynoch chi fel gweithwyr le i gwyno, ac fod yn gwilydd i fod rhw Sais yn dwad ar draws gwlad i gymyd lle dyn duwiol fel Abram Hughes na fu rioed helynt hefo fo. Ond dwyt ti ddim ond ifanc; a pham na faset ti'n gadel i rwfun fel Edward Morgan siarad a choddlo? dyn sydd ganddo dŷ iddo fo'i hun a moch a mochyn. Fase fo ddim llawer o Edward gael notis. Ond waeth tewi—rhy hwyr cau drws y stabal wedi i'r ceffyl fynd allan; ond be ddaw o honon ni sy'n bwnc."

"Mam," ebe Bob yn zelog, "nid fel yna y darfu i chwi fy nysgu. 'Gwna dy ddyledswydd a gâd rhwng y Brenin mawr a'r canlyniadau,' oedd un o'r gwersi cyntaf a ddysgasoch i mi; ac yr wyf yn meddwl glynu wrthi tra bydd anadl ynof, nid yn unig am eich bod chwi wedi ei dysgu i mi, ond hefyd am fy mod yn credu ei bod yn rheol dda. Nid yw hyn ond y peth oeddwn yn ei ddysgwyl. Mae yn rhaid i rywun ddyoddef cyn y daw daioni i'r llïaws; ac os ydwyf fi ac ychydig eraill yn cael ein gwneyd yn fwch diangol i'r tri chant sydd yn gweithio yn y Caeau Cochion, ac os bydd i ni fod yn foddion i ddwyn oddiamgylch eu rhyddid a'u lleshâd, pobpeth yn dda. Nid ydwyf wedi dyweyd un gair ond y gwir, a'r hyn y mae pawb sydd yn y gwaith yn ei gredu ac yn ei deimlo, ond eu bod yn rhy lwfr i'w adrodd yn gyhoeddus. Fel y dywedais, rhaid i rywun ddyoddef er mwyn y llïaws; hon ydyw egwyddor fawr llywodraeth Duw. Mae naill ai cysur neu fywyd un creadur yn cael ei aberthu yn feunyddiol i gadw creaduriaid eraill yn fyw. Fel y dywedai Caiaphas, 'Buddiol yw i un farw dros y bobl, fel na ddyfethid yr holl genedl.' Mae egwyddor aberth y groes yn cael ei hactio ar raddfa fechan bob dydd, ac ——"

"Taw â dy lol," ebe fy mam, mewn tipyn o dymher; "fedra i ddim dyodde dy glywed di'n siarad. Wyt ti wedi drysu, dywed? Wyt ti'n cymharu angeu'r groes hefo notis i madel o'r gwaith, neu hefo dim ar affeth hon y ddaear? Wyt ti'n meddwl deyd wrtha i fod ene rwbeth tebyg i ddyoddefiade y Gwaredwr? Os wyt ti, mae'n bryd i ti fynd i'r Seilam pan fynost di."

"Cymerwch bwyll, mam," ebe Bob. "Raid i mi ddim dyweyd wrthych chwi sydd mor gyfarwydd yn Llyfr yr Actau nad y fi ydyw y cyntaf i gael fy nghyhuddo o fod yn ynfydu am fod dipyn yn zelog. I dawelu eich meddwl ar y pen yma, deallwch nad ydwyf yn dychymygu cymharu dim âg aberth y groes o ran maint ac amcan, ond yn unig o ran egwyddor. Os nad oes cymhariaeth rhwng y meidrol a'r anfeidrol, y mae yna gyfatebiaeth, ac am y gyfatebiaeth yr wyf yn son."

"Hwde di," ebe fy mam, "paid di hel dy eirie mawr hefo fi. Cadw o fewn y Sgrythyr, a mi dy glyna di i le leici di; ond dim o'r geirie mawr yna. Yr ydw i'n sicr nad ydyw cyfatebiaeth ddim yn air ysgrythyrol, ac hyd yr ydw i'n cofio, dydi o ddim yn *Fforddwr* Mr. Charles.

"Mi wn, mam," ebe Bob dan wenu,

"nad ydych wedi darllen Butler ar Gyfatebiaeth ——"

"Bwtler?" ebe fy mam cyn iddo gael dyweyd ychwaneg; "be wyt ti'n son am dy fwtler wrtha i? rhw bagan fel ene nad ydi o byth yn myn'd i le o addoliad ond i'r Eglwys, ac na ŵyr am ddim ond am gario gwin i'w feistar! Be wyt ti feddwl wrth ddarllen y bwtler?"

Yr oedd hyn yn ormod i Bob, a chwarddodd yn uchel, yr hyn a barodd i fy mam foni tipyn; a bu raid i Bob brysuro i egluro ei hun—

"Nid *butler* y plâs oeddwn yn feddwl, ond yr Esgob Butler, gŵr da a duwiol. Hyn oeddwn yn ceisio ei ddyweyd pe buasech yn gadael llonydd i mi—mai ammod bywyd, bendith, a llesâd ydyw aberth. Cyn yr oedd yn bosibl i fyd o bechaduriaid gael bywyd, yr oedd yn rhaid i Fab Duw aberthu ei hun. ('Dyna ti rwan yn siarad *sense*,' ebe fy mam wrthi ei hun.) Cyn yr oedd yn bosibl i'r bywyd hwnw ddyfod yn eiddo i ddynion, yr oedd yn rhaid i'r apostolion a llu o ddynion goreu y byd ddyoddef llawer, ac hyd yn nôd roddi eu bywydau i lawr. Ac y mae rhywbeth tebyg i hyn yn bod gyda golwg ar ein bywyd naturiol, gyda hyn o wahaniaeth, fod y lleiaf yn cael ei aberthu er mwyn y mwyaf. Mae y fuwch, y ddafad, a'r mochyn, a llu o greaduriaid eraill, yn colli eu bywyd er mwyn cadw eich bywyd chwi a minnau. Ac felly ymhob cylch o fodolaeth y gwyddom am dano. Mae yr un egwyddor i'w chael mewn cymdeithas. Wrth ymladd i ddyrchafu cyfiawnder ac ymlid ymaith orthrwm, mae rhywrai o'r dynion dewr sydd yn yr ymdrech yn sicr o gael eu mathru a'u niweidio o dan draed y gorthrymwr, hyd yn nôd pan fydd yn gorfod cilio. Rhaid i rywrai ymladd yn y Caeau Cochion cyn y ceir gwared o'r gorthrwm; ac os ydwyf fi a'm cymdeithion yn gorfod syrthio pan yn chwythu yn yr udgorn, gadewch i hyny fod; mae yr alwad i'r frwydr wedi myned allan, mae cyfiawnder o'n hochr, a bydd i rywrai, os na bydd i ni, gyfranogi o ganlyniadau da y fuddugoliaeth sydd yn sicr o ddilyn. Gyda thipyn o ddoethineb a phenderfyniad, nid wyf yn ammheu na fydd gwêdd arall ar y Caeau Cochion cyn pen ychydig fisoedd. Yr unig beth yr ydwyf yn ei ofni ydyw i rai o'r dynion ddefnyddio moddion anghyfreithlawn. Mae llawer o honynt yn amddifad hollol o farn, ac yn cael eu llywodraethu yn gwbl gan eu tymher afrywiog. Bydd i'r rhai hyn, os na chânt rywun doeth i'w harwain, wneyd mwy o niwed i'r amcan sydd mewn golwg nag y gellir dyfalu. Ond dichon yr ymddygant yn well nag yr wyf yn ofni."

Yr oedd fy mam naill ai yn ddifater neu yn analluog i ateb Bob, a'r unig beth a ddywedodd oedd—

"Gweddïa fwy, fy machgen i, a siarada lai."

Parodd y rhybudd a gafodd fy mrawd, a'r dynion eraill a enwais, gryn siarad yn y gwaith a'r gymydogaeth, ac edrychid ar y dydd Sadwrn canlynol gyda dyddordeb pryderus. Ofnai rhai y byddai helynt ymhlith y gweithwyr os byddai y rhybudd i gael ei gario allan; ond tybiai eraill nad oedd y rhybudd ond ffûg i geisio dychrynu y gweithwyr i ymlonyddu, ac na feiddiai Mr. Strangle droi ymaith y dynion medrusaf a sobraf a feddai y Caeau Cochion heb dynu helbul yn ei ben.

Dydd Sadwrn a ddaeth, ac aeth Wil Bryan a minnau ac amryw hogiau i fod ar y "bonc" erbyn yr adeg yr oedd y dynion i ddyfod i fyny, i weled beth a ddygwyddai. Yn union deg daeth dau heddgeidwaid yno gyda'r un neges. Dau Sais oeddynt. Yn y man dechreuodd y gweithwyr ddyfod o'r pwll bob yn llwyth. Fel y deuent i'r lân, elent i'r swyddfa i dderbyn eu cyflogau; ond yn lle myned yn syth adref ar ol derbyn yr arian fel yr arferent, arosent ar y bonc yn dyrau yma ac acw gan eistedd ar eu sodlau. Pa un ai o fwriad neu ynte o ddamwain y bu nis gwn; ond Bob a'i gymdeithion, y rhai oeddynt dan rybudd, a ffurfient y llwyth olaf; a phan wnaethant eu hymddangosiad uwch genau y pwll, â'u "pigau" wedi eu rhwymo yn eu gilydd, cododd yr holl ddynion oedd ar y bonc ar eu traed fel llu o ellyllon. Ond o dan ddüwch eu gwynebau a hagrwch eu gwisg yr oedd yno lawer calon gynhes a gonest, er fod murmur i'w glywed yn eu mysg. Aeth Bob a'i gymdeithion i'r swyddfa, a dysgwylid eu dyfodiad allan gyda phryder dystaw. Ni fu raid i ni aros yn hir; a phan wnaethant eu hymddangosiad, edrychent yn hollol ddidaro, a chymerasant i fyny eu pigau gan eu dodi ar eu hysgwyddau, yr hyn oedd arwydd sicr fod y rhybudd wedi ei gario allan. Mewn eiliad amgylchwyd Bob a'i gymdeithion gan yr holl weithwyr, y rhai a ymholent ar draws eu gilydd a oeddynt wedi eu talu allan. Amneidiodd Morris Hughes ar Bob i siarad, ac yntau a ddywedodd yr hyn a ganlyn—ac yr wyf yn tystio yn y modd difrifolaf na ddywedodd efe un gair ond yr hyn a adroddaf; oblegid ni roddaf i fyny i undyn byw am gywirdeb adroddiad o'r hyn a glywais â'm clustiau fy hun. Os ymffrostiaf mewn rhywbeth, yn fy nghof y gwnâf hyny.

"Fy anwyl gydweithwyr, yr wyf fi a'm cymdeithion wedi ein talu allan. Yr ydym yn ffarwelio â'r Caeau Cochion, ac yr gorfod troi ein hwynebau i rywle aredrych am waith."

Cyn iddo gael dyweyd ychwaneg, dechreuodd rhai o'r dynion dyngu a rhegu, ac ymyrodd y ddau heddgeidwad, gan eu hannog i fyned adref yn ddystaw; ond gwthiwyd hwy ymaith yn ddiseremoni, a gwaeddwyd am i Bob fyned ymlaen; ac efe a ychwanegodd,—

"Yr ydym yn eich gadael gyda chydwybod dawel na wnaethom ddim allan o'i le; ac yr ydym yn hyderu na wna neb ein condemnio am ddadgan yn gyhoeddus ein hargyhoeddiad ein bod yn cael cam a'n trin yn anghyfiawn. Rhaid i chwi bellach ymladd am eich iawnderau heb ein cymhorth ni; ond pa le bynag y byddom, bydd eich cysur a'ch llwyddiant yn agos at ein calon. Nid wyf heb ystyried fod o fy mlaen ugeiniau o ddynion hŷn, callach, a mwy profiadol na mi; ond goddefwch i mi roddi gair o gynghor i chwi. Gofelwch beidio gwneyd dim y bydd arnoch gywilydd o'i herwydd. Cymerwch eich arwain gan y bobl gallaf yn eich mysg; ac wrth ymladd am eich iawnderau, gwnewch hyny fel dynion yn meddu rheswm, ac fel rhai yn cofio y bydd raid i chwi roddi cyfrif am eich holl weithredoedd. Yr wyf yn meddwl, ac felly y mae fy nghymdeithion yn meddwl, mai y peth goreu i chwi a fyddai gosod eich cwynion o flaen y cyfarwyddwyr. Yn amser Abraham Hughes, os byddai genym gŵyn nid oedd eisieu ond ei osod o'i flaen, a rhoddai efe ystyriaeth bwyllog iddo; ond yr wyf yn ofni mai oferedd, bellach, a fyddai i chwi appelio at Mr. Strangle, oblegid ——"

Yn anffortunus pan oedd enw Mr. Strangle ar ei wefusau, daeth y gŵr hwnw allan o'r swyddfa, ac edrychodd yn ddirmygus ar y dorf. Nid cynt y gwnaeth ei ymddangosiad nag yr oernadodd ugeiniau o leisiau fel haid o gadnawgwn! Rhuthrwyd arno yn erwin a chariwyd ef ymaith ar y ffordd oedd yn arwain i'r *railway station*, fel gwelltyn o flaen corwynt. Y ddau heddgeidwad, gyda dewrder anhygoel, a geisiasant ei arbed a'i ryddhâu o afaelion y glowyr drygnwydog, ac felly y gwnaeth Bob ac eraill. Ond càn gynted ag y rhyddheid Mr. Strangle o afaelion un haid, byddai eraill yn nghwlwm âg ef. Un o'r heddgeidwad gan dybied, a hyny yn onest yn ddiammheu, fod Bob y penaf o'r ymlidwyr, a dynodd ei *staff* allan ac a'i tarawodd ef ar ei arlais nes y syrthiodd i'r llawr. Buasai yn well iddo beidio, oblegid y foment nesaf yr oedd efe a'i gydymaith yn gorwedd yn anafus ar ochr y ffordd, a Mr. Strangle yn cael ei yru o flaen y dorf wallgofus gyda chyflymdra cwbl anhyfryd i ŵr mor dew ag ydoedd efe. Meddyliais fod Bob wedi ei ladd, canys ymddangosai yn hollol farw ar y ffordd, ac nid arosodd neb ond Morris Hughes gyda mi i geisio ei ymgeleddu. Nis gallaf ddesgrifio fy nghofid pan dybiais ei fod wedi marw, nac ychwaith fy llawenydd, pryd ymhen ychydig fynydau y daeth ato ei hun ac y neidiodd ar ei draed. "Morris," ebe fe "mae ein hymdrechion oll yn ofer; mae y gwallgofiaid wedi andwyo ein hachos; rhaid i ni attal hyn os nad ydyw yn rhy ddiweddar." Prysurodd y ddau ar ol y dorf, a minnau yn eu dilyn. Gydag anhawsder y gallai Bob gerdded yn gyflym gan fel yr oedd y ddyrnod wedi effeithio arno; a phan gydiodd yn mraich Morris Hughes, yr hwn oedd ŵr ieuanc cadarn a chryf, gwelwn fod ei goesau yn gwegian odditano. Pan oeddym yn nesâu i'r orsaf, canfyddem fod y dyrfa wedi mwy na dyblu eu nifer. "Diolch!" ebe Bob, "nid ydyw y trên wedi dyfod i mewn, ac hwyrach y gallwn attal y ffyliaid rhag gorfodi Mr. Strangle i fyned ymaith." Rhoisom y troed goreu ymlaen; ond pan oeddym o fewn rhyw dri chan' llath i'r orsaf, clywem y trên yn dyfod i mewn, ac hefyd fanllef fawr gan y gweithwyr. "Rhy hwyr!" ebe Morris Hughes, "os ydyw yn ods." "Ods?" ebe Bob gan arafu ei gerddediad, "gallwn feddwl ei fod. Collwn gydymdeimlad y wlad, edrychir arnom fel anwariaid, cymerir rhai o'r gwallgofiaid hyn i'r carchar, a chosbir hwynt am eu hynfydrwydd. Yr ydym wedi colli pobpeth, ac y mae yn edifar gan fy nghalon fod a wnelwyf o gwbl â'r helynt!" a thorodd allan i wylo fel plentyn.

Chwibianodd y peiriant yn gryf ac yn groch, a rhwygwyd yr awyr gan fanllefau ynfydion. Yna rhuthrodd y dorf ddi-oruchwyliaeth tua'r dref. Pan ddaethant i'r fan lle yr oedd Morris Hughes, Bob, a minnau, mynasent ar bob cyfrif gael cario fy mrawd a'i arddangos fel eu harwr; ond braich gref Morris a'u hattaliodd; ac ebe fe wrthynt, "Nid all fy ngyfaill oddef i chwi wneyd hyny âg ef; ond os dewiswch wrando, dichon fod ganddo air i'w ddyweyd wrthych." Wedi i'r dorf arwyddo parodrwydd i wrando, esgynodd Bob i ben y clawdd, a chan bwyso ei law ar ysgwyddau llydain Morris Hughes dywedodd,

"Gyfeillion, o ddechreuad yr ymdrech am godiad yn ein cyflogau ac am well trefn yn y Caeau Cochion, yr wyf wedi cymeryd rhan amlwg, ac wedi gwneyd fy ngoreu i wella eich amgylchiadau. Gwyddoch cystal a minnau y gallasai dau neu dri o honom, pe buasem yn dymuno cynffona ychydig, wneyd ein nyth yn ddigon clŷd yn y Caeau Cochion; ond ni fuasech chwi fymryn gwell. Ar ol yr hyn sydd newydd gymeryd lle, rhaid i mi ddyweyd wrthych yn onest, hyd yn nôd pe bawn wrth wneyd hyny yn peryglu cael ym-

ddwyn tuag ataf fel yr ymddygwyd at Mr. Strangle, fod arnaf gywilydd fod a fynwyf â chwi mewn unrhyw fodd."

Gorchfygwyd Bob gan ei deimladau fel nad allai ddyweyd rhagor, ac ymwahanodd y dorf, rhai yn tyngu, eraill yn murmur, ac eraill yn ddystaw a synfyfyriol. Teg ydyw dyweyd fod ymhlith y dyrfa gynhyrfus a gipiodd Mr. Strangle i'r orsaf, gan bwrcasu tocyn iddo a'i osod yn ddiogel yn y trên, ugeiniau o'r gweithwyr oeddynt yn hollol anghyttuno â'r weithred, ac eto yn gwbl analluog i attal y ffolineb. Cyn i fy mrawd a minnau gyrhaedd gartref, yr oedd fy mam wedi ei hysbysu am yr helynt, gydag ychwanegiadau, ac yn dysgwyl yn gynhyrfus am danom. Pa fodd bynag, tawelwyd gryn lawer ar ei meddwl pan sicrhaodd Bob hi ddarfod iddo ef wneyd ei oreu i arbed Mr. Strangle gael ei orfodi ymaith. Ar yr un pryd nid allwn beidio gweled arwyddion o ofn ac anesmwythdra ar wynebau y ddau. Nid aeth Bob allan o'r tŷ y noswaith hono; ond ymwelwyd âg ef gan ei dri chyfaill a dalwyd allan fel yntau; a threuliasant rai oriau i ddyfalu beth a fyddai canlyniadau ynfydwaith y diwrnod. Er na ddywedai fy mam ddim, gwelwn yn ei hwyneb *presentiment* o rywbeth gwaeth i ddyfod. Aeth y cymdeithion ymaith, ac ar ol hyny ni siaradwyd ond ychydig yn ein tŷ ni y noswaith hono. Cymerai Bob arno ddarllen; ond sylwn nad oedd yn troi dalenau y llyfr, a gwyddwn nad oedd yn meddwl am ddim oedd ynddo.

Yr oedd yn hwyr ar y nos, ac yr oeddym ar fedr myned i'r gwely, pryd y clywem sŵn traed yn nesâu at y tŷ. Yn y fynyd curwyd y drws, a chyn i neb gael amser i agor daeth i mewn ddau heddgeidwad. Gwelwodd wyneb fy mam, a dechreuais innau waeddi fy ngoreu glas; ond gorchymynodd Bob i mi dewi, a chydag anhawsder y gellais orchfygu fy nheimladau. Bob, yn berffaith hunanfeddiannol, a annogodd y swyddogion i eistedd i lawr, yr hyn a wnaethant. Er na fu byth yn dda genyf am yr un o'r ddau, rhaid i mi addef eu bod yn ddynion hywaeth, ac nad hapus ganddynt oedd eu gwaith y noson hono. Yr oeddwn yn falch mai Cymry oeddynt, er mwyn i fy mam allu deall yr hyn a ddywedent.

"Yr wyf yn meddwl," ebe Bob yn dawel, "fy mod yn deall eich neges."

"Wel," ebe *Sergeant* Jones, gan edrych ar fy mam, "neges ddigon annymunol sydd genym ni, Robert Lewis, yn siŵr i chwi; ond yr wyf yn gobeithio y bydd pobpeth yn iawn ddydd Llun. Mrs. Lewis," ebe efe gan estyn y warant i Bob i'w darllen er mwyn arbed teimladau fy mam, "peidiwch a dychrynu, dydi o ddim ond *matter of form*; rhaid i ni wneyd ein dyledswydd, wyddoch; ac fel y dywedais, yr wyf yn gobeithio y bydd pobpeth yn *right* ddydd Llun."

Ni ddywedodd fy mam ddim; ond yr oedd y cryndod a welwn yn nghonglau ei genau a'r *twitch* oedd yn ei gwddf yn dangos yn eglur ystâd ei theimlad. Rhoddodd Bob ei esgidiau am ei draed yn hamddenol, a'r gair olaf a ddywedodd oedd, "Mam, chwi a wyddoch i ba le i droi; mae fy nghydwybod yn dawel," a cherddodd ymaith gyda'r swyddogion. Nid oeddynt wedi myned ugain llâth oddiwrth y tŷ pryd y clywn siarad uchel a *struggle*, fel y tybiwn i; ac er gwaethaf fy mam rhedais allan, a gwelwn ymdrech ddychrynllyd rhwng y swyddogion â dau ddyn ddyeithr. Yr oedd un o'r ddau yn ddyn mawr grymus, ac yn codymu yr heddgeidwaid yn ddidrugaredd. Nid oedd y llall ond canolig o gorffolaeth, ond yr oedd yn fedrus ar y gwaith yr oedd o'i gwmpas. Ni chefais anhawsder i adnabod yr olaf—mai yr un gŵr ydoedd ag a'm hattaliodd ar fy llwybr y noswaith hono pan fu farw Seth, a'r hwn a alwn i y tro cyntaf y gwelais ef "y Gwyddel." Ni wyddwn pwy oedd y dyn mawr grymus; ond meddyliwn ei fod yn debyg o ran gosodiad neu *gait* i fy mrawd, gyda'r gwahaniaeth ei fod yn hŷn a chryfach. Amcan y ddau ddyeithryn, gallwn feddwl, oedd rhoddi cyfleusdra i Bob ddianc; ond pan welsant nad oedd efe yn cymeryd mantais ar y cyfleusdra, ond yn hytrach yn cynnorthwyo y swyddogion, diangodd y ddau ymaith. Pan aethum yn ol i'r tŷ, a hysbysu fy mam am yr hyn a welais, cododd a chlôdd y drws.

Nid aethom i'r gwely y noswaith hono; ac er cymaint a ymdrechwn i ddirwasgu fy nheimladau er mwyn fy mam, ac er cymaint a ymdrechai hithau i guddio ei gofid er fy mwyn innau, gorchfygwyd ni gan lawer *touch* o grïo yn ystod y nos. Gwawriodd y bore--bore Sabboth hyfryd. Gwelwn y bobl yn myned i'r gwahanol gapelydd, ac wrth fyned heibio yn edrych yn chwilfrydig ar ein bwthyn. Nid aeth fy mam na minnau dros y rhiniog, a chlywais hi yn sibrwd fwy nag unwaith, "Dydd y brofedigaeth!" Ni fwytasom ond pur ychydig. Ymddangosai y diwrnod cyhyd ag wythnos. Agorodd fy mam yr hen Fibl mawr ddwsinau o weithiau; ond can gynted ag y dechreuai ddarllen, llithrai ei llygaid dros ei ymylon, ac edrychai am yspaid maith i'r un cyfeiriad mewn myfyrdod prudd. Gwelwn y bobl yn myned heibio o odfa'r bore, ond ni alwodd neb. Gwelwn hwynt drachefn yn myned i'r ysgol ac yn dychwelyd, ond ni thrôdd neb i mewn i'n tŷ. Credwn yn sicr y byddai

i rai o bobl y capel ddyfod i edrych am danom ar ol odfa'r nos; ond ni ddaeth neb, neu, fel y dywedai fy mam, "Ddaru neb dwllu'r drws trwy gydol y dydd." Yr oeddym yn awyddus i rywun alw, gan na wyddem pa nifer oedd wedi eu cymeryd i'r carchar, ac ofnai fy mam rhag mai Bob oedd yr unig un. Tarawodd y cloc naw, a dywedodd fy mam mai gwell oedd i ni fyned i'r gwely a cheisio gorphwys; ond yr un fynyd curodd rhywun y drws, ac aethum innau yn awyddus i'w agor, a gwelwn ddau o'r blaenoriaid—nage, gwelwn Thomas a Barbara Bartley, wedi methu o gydwybod fyned i'w gwelyau heb ddyfod i edrych pa fodd yr oedd fy mam yn ei helynt. Ni fuasai yn bosibl ymron i ddau mwy annhebyg i fy mam o ran tueddiadau a chymeriad ddyfod i ymweled â hi, ac eto yr oedd yn dda genym o'n calon eu gweled. Cawsom ein dau gyfleusdra i arllwys allan y gofid oedd wedi bod yn croni ynom er ys pedair awr ar hugain. Yr oedd Thomas a Barbara wedi bod yn y *Crown*, ac wedi cael holl fanylion yr helynt. Arosasant gyda ni am oriau lawer. Yn awr wrth i mi adgofio yr ymgôm a gymerodd le rhwng y tri, yr wyf yn meddwl ei bod yn un o'r pethau rhyfeddaf a digrifaf a glywais erioed, er nad oedd felly i mi yr adeg hono. Ac oni b'ai fod y bennod hon eisoes yn rhy faith, a'r hyn yr wyf yn myned i'w adrodd yn y bennod nesaf yn pwyso cymaint ar fy meddwl, buaswn yn ei chroniclo; ond ymattaliaf. Parodd eu hymweliad ollyngdod mawr i ni; a gallodd fy mam a minnau gysgu y noswaith hono heb fawr feddwl fod pethau chwerwach yn ein haros.

---

### Y DULL GOREU I DDWYN Y CYFARFOD EGLWYSIG YMLAEN.

**Sylwadau a wnaed yn Nghyfarfod Misol Llanrhaiadr, Dyffryn Clwyd, Hydref 5ed, 1882.**

*Gan y Parch* B. HUGHES, *Llanelwy.*

Y MAE cysylltiad agos rhwng y mater hwn â lliaws o bethau eraill y dylid eu cofio sydd ynglŷn â'r cyfarfodydd eglwysig, sef yr amcan neu yr amcanion sydd i'r cyfarfodydd hyn; ac y mae perthynas rhwng yr amcan â'r materion, neu yr adnoddau, sef yr Ysgrythyrau sanctaidd, o ba rai yr ydys i dynu yn helaeth yn nygiad ymlaen y cyfarfodydd hyn; ac y mae y dull a'r deheurwydd i ddefnyddio ac i gymhwyso yr Ysgrythyrau ynddynt yn elfen bwysig er eu heffeithiolrwydd; ac y mae y cymhwysderau a'r ysbryd priodol i ymdrin â'r pethau hyn yn gwbl angenrheidiol i'w buddioldeb; ac ni raid i ni ddyweyd fod perthynas agos rhwng yr holl bethau hyn â dysgeidiaeth ac â dylanwad yr Ysbryd Glân. Yr amcanion sydd i fod mewn golwg yn wastad yn y cyfarfodydd eglwysig ydynt,—lleshâd ysbrydol y frawdoliaeth, a gogoniant Duw. Y mae yr holl aelodau i gyfranu *at* y lleshâd, ac i gyfranogi *o'r* lleshâd.

Y mae'r swyddogion i amcanu at fuddioldeb yr eglwys; ac y mae y naill aelod i gyfranu rhywbeth at lesiant yr aelodau eraill. Un ffordd i weinyddu y llesiant yma ydyw, trwy i'r aelodau, yn lled gyffredinol, adrodd eu profiadau crefyddol yn yr eglwys. Yr enw wrth yr hwn y gelwid y cyfarfod eglwysig gan ein hen dadau oedd *society* brofiad. Dysgwylir i'r aelodau o bob oedran a sefyllfa, adrodd eu profiadau (o fewn terfynau cymedrol) yn y cyfarfod; adrodd eu teimladau o edifeirwch neu galedwch—ffydd neu anghrediniaeth—cariad at Grist, neu ddiffyg cariad tuag ato—eu colliadau a'u buddugoliaethau—eu hofnau a'u gobeithion—eu tristwch a'u llawenydd, &c. Y mae profiad o bethau crefydd weithiau mor ddwys ac mor angherddol yn yr enaid fel y mae yn rhaid rhoddi gollyngdod *(vent)* iddo yn y gymdeithas eglwysig. "Gwresogodd fy nghalon o'm mewn," meddai y Salmydd; "tra yr oeddwn yn myfyrio, ennynodd tân, a mi a leferais â'm tafod." Y mae adrodd ein teimladau crefyddol yn yr eglwys yn foddion i ddwyshâu y teimladau hyny, i adnewyddu ysbryd uniawn yn yr enaid, ac i adgyfnerthu y cristion i gyflawni ei ddyledswyddau crefyddol. Y mae y cyfryw adrodd hefyd yn gwasgar rhyw ysbrydiaeth ddymunol trwy yr holl frawdoliaeth, fel y bydd yr aelodau yn niwedd y cyfarfod yn myned i'w ffordd yn llawen. Y gwaith sydd yn gorphwys ar swyddogion yr eglwys wedi clywed yr aelodau yn adrodd eu profiadau ydyw, eu hyfforddi, eu cysuro, eu dyddanu, eu hadeiladu, a'u cadarnhâu. "Eithr chwychwi, anwylyd," medd yr apostol Judas, "gan eich adeiladu eich hunain ar eich sancteiddiaf ffydd." Ac y mae yn gorphwys ar y swyddogion i adferu y rhai gwrthgiliedig eu hysbryd, ac i gryfhâu y rhai llesg; ac os bydd rhai o'r aelodau yn rhodio llwybrau peryglus, neu yn gwyro at bethau ammheus, eu gwaith hwy ydyw eu rhybuddio yn brydlawn "mewn mwyneidd-dra doethineb." "Ond yr ydym yn deisyf arnoch, frodyr, rhybuddiwch y rhai afreolus, dyddenwch y gwan eu meddwl, cynneliwch y gweiniaid, byddwch ymarhôus wrth bawb."

Heblaw hyny, y mae addysgu a gweddïo i fod yn y cyfarfod eglwysig; addysgu yr aelodau yn athrawiaethau crefydd, a'u haddysgu hefyd yn nyledswyddau Cristionogaeth. Y mae genym esiampl fod yr

Arglwydd Iesu Grist yn gwneuthur hyny yn gyfrinachol gyda'r dysgyblion ar ol y cyfarfod cyhoeddus; ac yr oedd yr apostol Paul, yn ei lythyrau at yr eglwysi, yn addysgu y saint yn athrawiaethau ac yn nyledswyddau crefydd Crist. Y mae genym engreifftiau hefyd yn Llyfr yr Actau, mai dysgu a gweddïo oedd y gwaith mwyaf pwysig yn yr eglwysi cristionogol cyntaf. Dywedir am y credinwyr ar ol diwygiad mawr dydd y Pentecost, eu bod "yn parhâu yn athrawiaeth ac yn nghymdeithas yr apostolion, ac yn tori bara, ac mewn gweddïau." Ac fe ddywedir am un arall fod "ffordd Duw yn cael ei dysgu iddo yn fanylach" o'r neilldu yn gyfrinachol. Y mae athrawiaethau a dyledswyddau crefydd Crist i'w dysgu yn gyflawnach, yn eglurach, yn fanylach, ac yn fwy cymhwysiadol yn y cyfarfod eglwysig, nag y byddai yn gyfleus ei wneuthur yn y weinidogaeth gyhoeddus. Ac y mae gweddïo i fod yn rhan bwysig ac anhebgorol o waith y cyfarfodydd hyn. Gweddïo dros yr aelodau presennol, a'r rhai sydd yn absennol—dros y rhai cystuddiol a'r rhai galarus—dros y ffyddloniaid yn Nghrist, a thros y rhai bach yn Nghrist, ar iddynt "gynnyddu mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist."

Y mae clodfori a moliannu Duw i fod yn rhan bwysig o waith y *society*. Wedi i aelodau yr eglwys agor eu gwefusau i adrodd yr hyn a wnaeth Duw i'w henaid, y mae eu genau yn barod i fynegu ei foliant. Adroddir fod yr eglwys apostolaidd yn moli Duw, ac yn cael ffafr gan yr holl bobl. Y mae yn bur briodol i saint yr Arglwydd, pan yn cydymgynnull yn y cymeriad o eglwys i Grist—rhai wedi cael eu bywyd trwy ei angeu, eu prynu trwy ei waed, eu heddychu trwy ei farwolaeth, &c., —y mae yn bur briodol iddynt, meddwn, dalu teyrnged o ogeniant a chlodforedd i Grist, Pen yr eglwys, oblegid efe a'u piau, am mai efe a'u pwrcasodd â'i briod waed. Dylai ffeithiau rhyfedd cyfryngdod yr Iesu, ei gariad, ei ddarostyngiad, ei dosturi, neu ei gymeriad, ei ddyoddefaint, ei farwolaeth, ei adgyfodiad o'r bedd, ei esgyniad i'r nefoedd, ei eiriolaeth ar ddeheulaw y Tad, —fe ddylai y naill neu'r llall o'r ffeithiau mawrion yma gyffwrdd i ryw raddau â thannau telynau yr eglwys ar y llawr nes llenwi y cyfarfod eglwysig o foliant i'r Gwaredwr. Wele rai o'r amcanion bendithfawr sydd i'r cyfarfod eglwysig.

Ond y mae cysylltiad rhwng yr amcanion hyn â'r gwirioneddau, neu yr adnoddau yr ydym i dynu yn helaeth o honynt er dyfod â gwaith y cyfarfod ymlaen, sef yr Ysgrythyrau sanctaidd, a llyfrau crefyddol eraill, megys *Llyfr Gurnal*, *Taith y Pererin*, *Llyfr Hymnau*, *Y Cyffes Ffydd*, *Yr Hyfforddwr*, &c. Ond Llyfr y llyfrau sydd i fod yn wastad yn y *society* ydyw y Bibl; ac y mae rhai llyfrau o'r Bibl ag y dylem dynu yn helaethach o'u trysorau na llyfrau eraill sydd ynddo, megys Llyfr y Salmau, a Llyfr y Diarebion, a Llyfr Caniad Solomon, yn yr Hen Destament; ac Efengyl Ioan, ac Epistolau Ioan, a Llythyrau yr Apostol Paul, yn y Testament Newydd. Y mae y Bibl i fod yn y cyfarfod eglwysig nid yn unig fel cyfeirlyfr *(book of reference)*, ac nid yn unig fel cyfarwydd-lyfr *(directory)*, ond fel gwerslyfr *(text-book)* yn ol yr hwn yr ydym i gynghori, i addysgu, ac i adeiladu y frawdoliaeth. Yn yr Ysgrythyrau y ceir trysorfëydd helaeth ac amrywiaethog yr eglwys; bwydgelloedd i'r cristionogion newynog, cyffyriau ysbrydol i'r rhai sydd yn teimlo pla eu calon, gwinoedd yr addewidion i'r rhai sydd yn glaf o gariad at Grist, arfau ysbrydol i'r rhai sydd yn ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd, a goleuni i'r rhai sydd yn ofni syrthio mewn lleoedd geirwon yn y fordaith ysbrydol. Yn yr Ysgrythyrau y mae rhybuddion i'r rhyfygus, calondid i'r ofnus, cysur i'r galarus, a diogelwch i'r hyderus a'r gobeithiol. Gan mai y *Bibl* ydyw gwerslyfr y cyfarfod eglwysig, ac mai allan o'r trysorlyfr yma yr ydym i dynu allan ddefnyddau er addysg ac adeiladaeth fuddiol y frawdoliaeth, y mae o bwys mawr fod y modd a'r medr i ddefnyddio yr Ysgrythyrau yn tueddu i gyrhaedd amcanion uchel y cyfarfodydd hyn. Da fyddai i'r swyddogion fod yn gyfarwydd iawn yn y Bibl, ac yn gallu adrodd allan gyda rhwyddineb gyflenwad helaeth o'r Ysgrythyrau—yr adnodau fel arian parod yn eu llogellau bob amser yn ol fel y byddo y galwad am danynt; ac nid gwybod yr adnodau yn allanol ac yn gelfyddydol yn unig, ond eu gwybod yn ysbrydol a phrofiadol. Nad ydynt i fod yr un fath a'r rhai sydd wrth eu swydd yn gyru y cerbydau amgylch ogylch y dref fawr; y mae'r dynion hyny yn gwybod yn allanol am yr holl-ddinas eang—pob heol, pob ysgwâr, a phob sefydliad; a gallant gyfeirio i unrhyw le a fynant ar eu hunion. Ond nis gwŷr y *cabmen* ddim am amgylchiadau cyfrinachol y trigfanau, na bywyd cuddiedig y preswylwyr. Felly y mae yn bosibl bod yn gyfarwydd â'r Bibl yn allanol—gallu adrodd lliaws mawr o adnodau ar y mater yma a'r pwnc arall, ond y meddwl a'r galon yn ddyeithr i'w hystyr ysbrydol a phrofiadol. Y mae y ddiareb hono yn cynnwys gwirionedd gwerth i'w gofio wrth gadw'r *societies*—"Gair o'r galon a gyrhaedd galon."

Ond pa ddull yw y goreu i ddwyn y cyfarfod eglwysig ymlaen i'r fantais oreu? Wel, y mae yn hawddach gofyn y cwest-

iwn hwn na'i ateb yn foddhaol. Ond y dull goreu ydyw hwnw sydd yn tueddu oreu i gyrhaedd yr amcanion a nodwyd. Ond fe ellir cyfeirio yn gynnil i ddechreu at rai pethau yn *nacaol*, sef pethau ynglŷn â'r cyfarfodydd eglwysig ag y dylid eu gochel. Na newidier noson y *society* oni bydd rhyw amgylchiadau pwysig iawn yn peri y byddai yn ddoeth gwneuthur hyny; ac y mae yn rhaid i amgylchiadau anarferol o bwysig ddygwydd i fod yn rheswm digonol i symud y cyfarfod o'i noson arferol. Y mae newid amser y *society* yn effeithio yn niweidiol nid yn unig ar y cyfarfod yr wythnos hono, ond hefyd ar gyfarfodydd eglwysig yr wythnosau dilynol. Gocheler pob annybendod yn nechreuad y cyfarfod, ac yn ei ddygiad ymlaen, ac yn ei derfyniad.

*(I'w barhau.)*

---

### EIN PLANT A'R IAITH SAESONEG.

*Anerchiad gan* MR. ELEAZAR ROBERTS, *Liverpool.*

[Traddodwyd yr anerchiad a ganlyn yn Nghyfarfod Misol Liverpool, Ionawr 3, 1883, gan y cyn-lywydd, Mr. E. Roberts, wrth adael y gadair; ac, ar gais y cyfarfod, anfonir ef i'w gyhoeddi yn y DRYSORFA.—J. GRIFFITH, *Ysgrifenydd.*]

ANWYL GYFEILLION.—Yr wyf yn deall y dysgwylir i'r un fyddo yn gadael y gadair hon wneyd ychydig o sylwadau ar yr achlysur. Gwnaeth fy rhagflaenydd hyny y flwyddyn ddiweddaf; ac esgorodd ei araeth ar fod moddion yn cael eu gosod ar droed ag sydd wedi arbed llawer iawn o amser y Cyfarfod Misol, ac wedi attal peth afreoleidd-dra.

Hawdd fyddai i mi nodi lliaws o bethau ag yr wyf yn tybied a fyddent yn dra theilwng o sylw; ond cyfyngaf fy hun at un yn unig: un ag sydd yn ymddangos i mi mor bwysig fel yr wyf yn anturio galw sylw ato fel hyn, *ex cathedra*, gan obeithio ond odid y bydd hyny yn gosod mwy o arbenigrwydd arno.

Yr ydym wedi bod yn "dathlu" (fel y dywed y bechgyn llenorol), ein canmlwyddiant yn y dref hon. Yr ydym wedi bod yn llongyfarch ein gilydd ar ein llwyddiant fel Cyfundeb. Fel un sydd wedi bod yn y dref er fy mabandod, sef llawer mwy na hanner y can' mlynedd hyn, yr oedd yn naturiol fod adgofion lawer yn dyfod i fy meddwl yn y cyfarfod mawr y dydd o'r blaen; a llawenhawn gyda chwi oll wrth edrych yn ol ar hanes ein Cyfundeb yn y dref. Mae gan Fethodistiaeth le cynhes yn fy nghalon, ac yr wyf yn dymuno ei llwyddiant. Ond nid wyf yn meddwl mai arwydd o gariad unrhyw amser ydyw peidio galw sylw at yr hyn a dybir yn berygl. Credwyf y dylem edrych ar ein sefyllfa o fwy nag un cyfeiriad; ac er na buaswn yn caru gwneyd hyny yn lle amlaf y bobloedd, mi a gymeraf fy rhyddid *yma* i alw eich sylw at un ffaith yn ein hanes, sydd, er yn cael ei haddef fe allai, heb gael un lle *ymarferol* yn ein hystyriaethau.

Y ffaith y cyfeiriwyf ati ydyw hon: Er maint a fu ein cynnydd, y mae wedi codi, bron yn hollol, oddiwrth fod rhai o Gymru yn dyfod atom o bryd i bryd; neu, a defnyddio geiriau Dr. Hughes, yr ydym yn ddyledus am dano yn hollol ymron i'n hagosrwydd at Ogledd Cymru. Neu fel y dywedai Mr. Saunders, yr un yw ein cynnydd yma â chynnydd crefydd yn Nghymru. Cymru sydd yn ein cyflenwi â chrefyddwyr o flwyddyn i flwyddyn. Pe darfyddai y cyflenwad hwnw, y tebygolrwydd yw na fyddai oes Methodistiaeth Gymreig yn Liverpool yn un faith iawn. *Ar y cyflenwad parhâus hwnw mewn gwirionedd yr ydym yn byw.* Y mae dynion ieuainc da, yn feibion a merched, wedi bod yn dyfod atom o Gymru o flwyddyn i flwyddyn; y maent wedi llwyddo yn y byd; y maent wedi dysgu bod yn haelionus yn eu cyfraniadau; y maent wedi adeiladu capelau iddynt eu hunain a'u holynwyr; y maent wedi danfon o bryd i bryd am bregethwyr o Gymru, a'r rhai hyny yn oreuon y pulpud Cymreig; ac y mae eu gweinidogaeth wedi llwyddo i gadw y Cymry fel hyn gyda'u gilydd yn lled gryno, ac wedi bod yn fagwraeth grefyddol iddynt, ac wedi eu cadw fe allai yr un mor ddiogel, neu yn agos felly, â phed arosasent yn Nghymru. Y dyfodiaid hyn o Gymru sydd bron yn hollol yn cario yr achos ymlaen yn ein mysg.

Nid wyf am alw sylw at y ffaith alaethus ein bod yn colli llawer iawn hyd yn nôd o'r *rhai hyn* o bryd i bryd; er fod hyny yn wirionedd. Ond, yr wyf yn gofyn yn difrifol, Beth am *blant* y cyfryw? Y plant sydd yn cael eu geni a'u magu yn ein mysg, ein cig a'n gwaed ein hunain, a ydym wedi llwyddo i'w cadw *hwy* gyda ni? Yr ydym yn ceisio rhoddi addysg dda iddynt; ac ni a garem eu gweled yn flaenllaw gyda gwaith crefydd yn ein mysg; ac fe allesid dysgwyl ar lawer cyfrif mai hwynt-hwy fuasent ar y blaen gyda ni, gan eu bod yn cael yr addysg oreu a'r weinidogaeth oreu. Ond nid felly y mae. Os dywedir fod genym yn yr eglwys hon neu arall lawer o bobl ieuainc a fagwyd yn y dref, y rhai sydd yn weithgar gyda chrefydd, yr wyf yn addef hyny. Ond y maent felly yn benaf gyda'r pethau allanol. Y ffaith alaethus yw, fod y mwyafrif mawr o'r rhai sydd yn cael eu

magu er yn blant yn ein mysg, yn graddol golli blâs at Fethodistiaeth, ac ar ol cyrhaedd oedran arbenig yn ein gadael, a llawer o honynt, fel y mae yn ofidus meddwl, yn gadael crefydd o gwbl!

Y mae llawenydd mawr yn ein mysg pan fyddo rhai yn dyfod atom o'r byd; ac ni a ddylem lawenhâu. Ond y mae lle i ofni, tra yn derbyn ychydig i mewn fel hyn ar un llaw, ein bod yn colli ein plant o'n mysg yn llawer iawn mwy cyflym ar y llaw arall. Paham y mae hyn yn bod? A oes rhywbeth mewn Methodistiaeth ei hunan yn peri nas gall flodeuo ymysg y rhai a fegir yn ein tref? Ai planigyn ydyw na thyfa ond yn awyr yr iaith Gymraeg? Hyderwyf nadê. Mae yn ddiammeu y gellid awgrymu lliaws o bethau er ceisio rhoddi cyfrif am y sefyllfa bresennol ar bethau, ac y mae yn debyg hefyd na ddylid priodoli y cyfan i un achos; ond pa eglurhâd bynag a roddir ar y ffaith, yr wyf yn bur sicr o hyn,—fod yr *iaith* Gymraeg ar ffordd ein llwyddiant gyda'r plant. Buasai yn dda genym pe buasai pawb trwy'r byd o un iaith fel cynt, a hono yr hen iaith Gymraeg. Ond nid felly y mae; ac y mae yn rhaid i ni blygu i amgylchiadau. Y gwir yw fod ein plant yn cael eu dwyn i fyny mewn cynnulleidfäoedd lle y mae pob peth, y pregethu, y cynghori a'r cyfan, yn cael eu dwyn ymlaen mewn iaith sydd i raddau helaeth yn estronol iddynt. Hwyrach y tybir nad yw pethau yn gwbl fel yr wyf yn eu gosod allan. Buasai yn dda genyf gredu hyny. Ond yr wyf yn bur sicr o hyn, fod ugeiniau o bobl ieuainc i'w cael ymhob eglwys lïosog, y rhai ydynt yn mynychu ein gwahanol gyfarfodydd cyhoeddus; y maent yn y pregethau, yn y cyfarfodydd eglwysig, a'r cyfarfodydd eraill — y maent yno, o barch i'w rhieni, yn ngrym arferiad, ac mewn canlyniad i'r cysylltiadau y maent wedi eu ffurfio, ac eto nid ydynt yn deall ond yn dra anmherffaith, ac yn sicr nid ydynt yn mwynhâu nac yn elwa ar ond y peth nesaf i ddim o'r hyn sydd yn cael ei ddwyn ymlaen.

Yn awr, hyd yn nôd pe gellid cael gan rieni y cyfryw siarad Cymraeg gartref, yr hyn ni cheir bob amser, a phe gellid cael y cyfryw blant i ddeall Cymraeg cyffredin ymddyddanion y tŷ, yr hyn nis gellir fel rheol, eto tra na fydd y Gymraeg yn iaith eu hymddyddanion parhâus, ac yn enwedig tra na ddarllenant ac na thalant ddim sylw i lyfrau Cymreig, fel y maent i'r rhai Seisonig, nis gellir dysgwyl iddynt gael nemawr o fudd yn y pregethau galluog a draddodir o'n pulpudau yn y dyddiau hyn. Ac hyd yn nôd pe gellid eu cael i ddyfod dros yr anhawsder hwn, yr hyn nis gellir, ni cheid hwynt er hyny yn alluog i siarad yr iaith Gymraeg eu hunain fel ag i fod mor hyddysg ynddi ag i'w harfer fel cyfrwng defnyddioldeb a gweithgarwch yn ein mysg gyda chrefydd. Yr wyf yn ofni gan hyny fod codi y plant i'r safle a ddylent fod ynddo mewn defnyddioldeb gyda chrefydd yn ein mysg, trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg, yn beth anobeithiol. Y mae, pa fodd bynag, wedi methu hyd yma.

Yn awr, yr wyf yn gofyn, A ydym yn foddlawn ar y sefyllfa yma ar bethau? A ydym i ddysgwyl y bydd rhieni plant yn foddlawn, wedi i'r cwestiwn hwn gael ei godi yn deg i'r gwynt? Ai tybed ein bod wedi bod yn gall yn cadw mor dŷn at yr iaith Gymraeg? Onid gwell fuasai i ni ddarparu ar gyfer yr hyn sydd anocheladwy. Er mor anwyl ydyw yr hen iaith genyf fi yn bersonol, ac yr wyf o'm calon yn ei hoffi, ac wedi gwneyd ychydig o ymdrech i ymgydnabyddu â hi, eto y mae ein plant a'u rhagolygon crefyddol yn fwy anwyl genym. Oni ddylem wneyd rhyw ddarpariaeth ar gyfer yr ugeiniau o bobl ieuainc sydd, fel y sylwyd, yn mynych ein haddoldai bob Sabboth, nad ydynt yn deall nemawr ddim o'r hyn sydd yn cael ei ddwyn ymlaen? Yr wyf yn *appelio* atoch ar eu rhan hwy. Nid ydynt byth ymron yn cael eu cydnabod fel rhai yn bresennol, ac nid ydynt, ond yn anfynych, yn alluog i ddyweyd gair drostynt eu hunain. Yn wir, nid ydynt yn gwybod maint eu colled, ac y maent o herwydd hyny yn ddifater. Ond hwyrach y dywedir, Dysged eu rhieni Gymraeg iddynt, ynte. Wel, pa un bynag ai "Ni fynant" ynte "Nis gallant" ydyw'r atebiad priodol i'r cynghor hwn, yr wyf yn sicr o fod yn gywir wrth ddyweyd *nad ydynt yn gwneyd. Eithriad ydyw cael Cymro da wedi ei eni a'i fagu yn y dref.* Credwyf nas gellir cael corff mawr ein plant i ddysgu Cymraeg yn ddigon da fel ag i wneyd eu hunan yn ddefnyddiol gyda chrefydd ynddi. Y mae profiad y blynyddoedd wedi dysgu hyn i ni.

Hwyrach y dywedir fod yn rhaid sefydlu mwy o achosion Seisonig yn ein mysg. Ond rhaid cofio nad yw ein pobl ieuainc bob amser yn barod i adael y capel y magwyd hwynt ynddo, ac yn yr hwn y ffurfiasant gynifer o gysylltiadau cyfeillgar. Nid ydynt yn caru cael eu hysgaru oddiwrth eu rhieni, a'u hesgymuno o fysg eu cydnabod. Ac, yn wir, nid ydyw y rhieni eu hunain yn hoff o ollwng gafael fel hyn o'u plant. Nid wyf yn sicr ychwaith y goddefai llawer cynnulleidfa gael ei theneuo fel hyn heb dderbyn niwed angeuol. Ië, mwy, pwy sydd yn barod i gymhell hyn fel dyledswydd ar ein cynnulleidfaoedd Cymreig? Pa fodd bynag,

y mae y bobl ieuainc hyn hyd ryw amser neillduol *yn aros* yn ein mysg, er nad ydynt yn deall ond ychydig ar y gwasanaeth cyhoeddus. Tybed, gan hyny, na ddylem wneyd rhyw ddarpariaeth ar eu cyfer *yn y lle y maent?* Yr ydym mewn amgylchiadau arbenig yn y dref hon ar y cwestiwn hwn. Y mae y ddwy iaith yn ymdrechu am yr oruchafiaeth. Y mae y rhan fwyaf o honom yn siarad y ddwy—yn ein tai, ac ymhob cylch cymdeithasol—ond yn deall ac yn siarad y naill yn well na'r llall; a phan ddefnyddir un mewn cylch cyhoeddus, y mae rhai o honom dan rwymau i deimlo anfantais. Yr oedd Crist a'i apostolion, o ran hyny, mewn amgylchiadau lled gyffelyb. Yr wyf yn tybied nad oedd neb yn fwy hoff o iaith ei grefydd—iaith y Dadguddiad Dwyfol—na'r Iuddew gynt. Pan ddeallwyd fod Paul gynt yn myned i anerch y dyrfa gyffrous yn Hebraeg, cafodd wrandawiad ar unwaith. Yr oedd yr hen iaith yn cyffwrdd â'u calonau. Iuddew oedd ein Gwaredwr bendigedig ei hunan; Iuddewon oedd yr apostolion; ac eto yr oedd yr iaith Roeg wedi cynnyddu i'r fath raddau fel y mae lle i gredu mai yr iaith hono (Saesoneg y dyddiau hyny megys) a siaradai ein Gwaredwr ei hunan.* Pa fodd bynag, yn yr iaith hono yr ysgrifenodd yr Iuddewon hyn y rhan fwyaf, os nad yr oll yn wir, o'r Testament Newydd. Gadewch i ninnau gan hyny, er ein bod yn hoffach o'r hen Gymraeg na'r Saesoneg, wneyd rhyw aberth er mwyn y bobl ieuainc—er mwyn ein plant ein hunain; *ac na fydded fod yr holl aberth ar eu tu hwy.*

Fel un sydd wedi ei fagu yn y dref, fel un sydd, er yn caru y Gymraeg, eto, gobeithio, yn caru crefydd yn fwy, yr wyf yn dymuno arnoch gymeryd y cwestiwn pwysig hwn i'ch ystyriaeth ddifrifolaf. Yr wyf yn gwneyd hyn ar ran y plant Seisnigaidd yn ein cynnulleidfäoedd. Pan yn clywed rhai o'n gweinidogion hyawdl yn pregethu, ac yn eu mwynhâu gymaint, a chofio fod yno lawer yn gwrando nad ydynt yn deall yr hyn a bregethir, bydd fy nghalon yn gofidio o'u herwydd. Dyger hwynt i deimlo mwy o ddyddordeb yn mhethau crefydd, trwy i ni weithiau, yn ol fel y byddo amgylchiadau yn caniatâu, ei chyfleu iddynt yn yr iaith a ddeallont; gadewch i ni hunanymwadu er eu mwyn; ac nid oes un ammheuaeth genyf na fydd y llwyddiant ar Fethodistiaeth yn Liverpool y ganrif nesaf yn fwy na'r un ddiweddaf.

Nid wyf am dori allan unrhyw gynllun penodol. Gallai pwyllgor gymeryd y mater i ystyriaeth, a gwneyd hyny. Os edrychwn arno yn wrol yn ei wyneb,—os gallwn syrthio ar ryw gynllun i gyfarfod yr amgylchiadau—neu, yr hyn sydd yn fwy pwysig fyth, *os gallwn ysgwyd rhyw gymaint* ar y penderfyniad diysgog hwnw sydd yn rhai o honom i lynu wrth y Gymraeg er gwaethaf pob canlyniadau, yr wyf yn mawr hyderu fod dyfodol llwyddiannus eto i Fethodistiaeth yn Liverpool. Dyna, pa fodd bynag, yw gwir ddymuniad fy nghalon.

* Gwel Dr. Roberts' "*Dissertation on the Gospels*," a'r ddadl yn yr *Expositor* ar y cwestiwn hwn.—*E. R.*

---

BYWIOL YW GAIR DUW A NERTHOL.

Yr oeddem wedi bod yn treulio rhai misoedd hafaidd yn mhentref A——. Y diwrnod cyn i ni ymadael, aethum allan i rodio fy hunan am y tro olaf ar hyd fy llwybrau dewisol, ac i ffarwelio â rhai o'm cyfeillion tlodion. Nid oeddwn wedi myned ymhell pan y cyfarfyddais â geneth ieuanc, yr hon a redodd ataf, ac a ddywedodd yn gyffrous, "O *ma'am*, yr wyf yn lled ddyeithr yma, ond mi a wn am eich cariad at eneidiau. Mae fy mrawd druan yn marw. Ow, ow! nid yw efe yn adnabod Duw. Ni byddai efe byth yn myned i le o addoliad. Yr oedd efe yn un diofal, drwg, annuwiol! Yr ydym yn byw dipyn o ffordd o'r pentref; ond O dewch gyda mi, yr wyf yn erfyn arnoch, i ddyweyd gair wrtho!"

Er nad oedd genyf ond ychydig amser i'w hebgor, nis gallaswn wrthwynebu yr appeliad cynhyrfiol hwn. Nid oedd dim yn amlycach na gwresogrwydd difrifol y chwaer ieuanc; yr oedd ei holl enaid fel wedi ei lyncu gan awyddfryd pryderus am ddwyn ei brawd at unig Geidwad pechaduriaid. Ni a aethom ymlaen yn gyflym, ac agos yn gwbl ddystaw, gan fod ein calonau yn rhy lawnion i ddyfod allan mewn lleferydd.

Aethum i mewn i drigfan salw, ac a ddilynais y chwaer gariadlawn at wely bychan y clâf. Hi a ymblygodd i edrych a oedd ei brawd eto yn anadlu, ac a gyfododd ei law, ac wele'r llaw yn syrthio yn ddifywyd wrth ei ochr. "Ow, ow!" hi a lefai; "y mae yn rhy ddiweddar! Mae efe wedi myned yn rhy bell i wybod na chlywed dim. Maddeuwch i mi, *ma'am*, am eich dwyn chwi yma i ddim yn y byd."

"Na, y mae efe yn anadlu eto," atebais. "Gyda Duw pob peth sydd bosibl. Gall nad ydyw eto yn rhy ddiweddar." A chan gydio yn ei llaw, a'i gwasgu yn fy llaw fy hun, dywedais gyda theimlad brwd, "Agoriad dy eiriau, O fy Nuw, a rydd oleuni, ïe, ar yr unfed awr ar ddeg.

Ni a fynegwn genadwri iachawdwriaeth iddo ef sydd yn marw, ac a weddïwn ar i'r Ysbryd Glân ei chymhwyso at ei galon."

Gan benlinio yn ei ymyl, mi a blygais at glust y dyoddefydd, ac yn araf ac yn eglur adroddais o air Duw fel y canlyn: "Pawb a bechasant, ac a aethant yn ol am ogoniant Duw. Pwy bynag a gadwo y gyfraith i gyd oll, ac a ballo mewn un pwnc, y mae efe yn euog o'r cwbl. Y galon sydd fwy ei thwyll na dim, a drwg diobaith ydyw. Oddieithr eich troi chwi, a'ch gwneuthur fel plant bychain, nid ewch chwi ddim i mewn i deyrnas nefoedd. Oddieithr geni dyn drachefn, ni ddichon efe weled teyrnas Dduw. Dychwelwch, dychwelwch oddiwrth eich ffyrdd drygionus, canys paham y byddwch feirw?"

Wedi ceisio fel hyn ddihuno ei gydwybod, dechreuais dywallt ar yr enaid clwyfus falm nefol Duw ei hun, y newyddion da am faddeuant ac iachawdwriaeth drwy Grist:—"O deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno, ïe, yr hwn nid oes arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch wîn a llaeth heb arian ac heb werth. Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd: pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor, byddant fel gwlân. Rhoddaf i chwi galon newydd, ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi; a thynaf y galon gareg o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i chwi galon gig. Canys felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei unig-anedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol. Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod. Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber. Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd, a hyny nid o honoch eich hunain; rhodd Duw ydyw. Os chwychwi, y rhai ydych ddrwg, a fedrwch roi rhoddion da i'ch plant chwi, pa faint pwy y rhydd eich Tad o'r nef yr Ysbryd Glân i'r rhai a ofyno ganddo? Gofynwch a rhoddir i chwi; ceisiwch a chwi a gewch; curwch ac fe agorir i chwi."

Ar ol i mi adrodd y geiriau hyn, geiriau o gariad a chysur Dwyfol, mi a daer weddïais ar i Dduw roddi awdurdod fywiol yr Ysbryd Glân gyda'i eiriau, a derbyn y pechadur truan hwn i 'freichiau ei ras maddeuol. Yna ffarweliais â'r chwaer wylofus, gan ddymuno iddi anfon ataf os adferid ei ymwybyddiaeth iddo. Ond ni chlywais ddim; ac yn mhrydnawn y dydd canlynol yr oeddem yn ymadael â'r pentref. Yn raddol, oddiar effaith naturiol newidiad lle, ac amrywiol olygfeydd ac amgylchiadau, edwinodd o'm côf dristyd y chwaer ieuanc, a'r sefyllfa yr oeddwn yn cael ei brawd ynddi, yr olygfa a gawswn unwaith mor ddifrifol a chynhyrfiol.

Ond Dûw a ddywedodd, "Fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau, ni ddychwel ataf yn wâg." Oddeutu wyth mlynedd ar ol i ni ymsefydlu yn H——, ein cartref newydd, daeth y wasanaethyddes un diwrnod i ddyweyd fod dyn wrth y drws yn awyddus i gael siarad â mi. Dywedais am iddo ddyfod i mewn; a'r fynyd nesaf wele ŵr ieuanc tàl, hollol ddyeithr i mi, yn dyfod i'r ystafell. Edrychodd yn graff arnaf, ac yna a ddywedodd gyda theimlad 'dwys, "O *ma'am*, nid ydych yn fy adwaen i; ond nis gallaswn orphwys heb ddyfod i draethu fy niolchgarwch i chwi. Myfi yw yr un y daethoch i ymweled âg ef yn A—— wyth mlynedd yn ol, pryd y tybygid fy mod yn marw. Mi a fûm, yn wir, yn ymyl angeu, o herwydd nis gallaswn wneyd yr ysgogiad lleiaf, na dyweyd yr un gair. Ond mi a glywais bob gair a ddywedasoch chwi o'r hen Lyfr gwerthfawr a bendigedig; ac fe welodd Duw yn dda, Duw'r cariad, fendithio y geiriau hyny er iachawdwriaeth fy enaid. Ennynwyd gobaith ynof, ac mi a weddïais â'm holl galon. Daethum i deimlo fod Iesu Grist yn bob peth i mi; ac yr oeddwn yn dymuno cael byw er mwyn i mi ei wasanaethu ef a dilyn buchedd newydd. Diolch i Dduw! efe a'm galluogodd i wneyd hyny. Hyd yn ddiweddar nid oeddwn yn gwybod pa le yr oeddech yn byw, *ma'am;* ond yr oeddwn bob amser yn dymuno cael diolch i chwi, a'ch bendithio, a dyweyd wrthych yr hyn a wnaeth yr Arglwydd i'm henaid."

Rhyw ragbrawf dedwydd o lawenydd y cynauaf mawr oedd hyn i mi, i'm dysgu i fyned ymlaen yn ngwaith yr Arglwydd yn ffyddlawn a gobeithiol, gan adael y canlyniadau iddo Ef. Nis gallasai dim ymddangos yn fwy diobaith na chyflwr y truanddyn ieuanc hwn. Ond yr awr dywyll hono oedd awr iachawdwriaeth ei enaid. Wele air Duw yn llwyddo yn y peth yr anfonodd efe ef o'i blegid; a'r hâd da a hauwyd mewn dagrau a fedwyd mewn gorfoledd.—*K. Wakeham* yn y *British Messenger.*

---

## TAITH AR DRAWS CYFANDIR AMERICA.

### PENNOD I.

GYDA'R byd yn llyfr natur, a Duw yn Awdwr iddo, mae genym le i roddi ychydig o nodiadau adroddiadol a allant, er yn ychydig, fod er budd ac adeiladaeth i nifer

o ddarllenwyr y DRYSORFA. Nid wyf mewn un modd yn bwriadu ysgrifenu er fy mwyn fy hun; ond mi a'obeithiaf y gall fy adroddiad fod yn ennill i rywrai a fyddant eto yn ymgymeryd â'r gorchwyl pwysig o deithio o làn y Môr Tawelog i lànau yr Atlantic, gan y gall yr ychydig hanes a ganlyn fod yn rhyw fath o gyfarwyddyd erbyn yr adeg hono.

Taith ar draws Cyfandir America—dyna ein testun, sef o San Francisco i New York, pellder oddeutu tair mil a phedwar cant o filldiroedd. Cyn y gall neb wneyd hyny gyda chysur, rhaid i ddyn feddu ar dipyn o wroldeb, lledu cymaint a fedro ar ei synwyr cyffredin rhag methu a chyfeiliorni; ac, yn ddiweddaf, troi yr hen ddiareb Gymreig hono, "Cymerwch bob dyn yn lleidr," i'r ddau air hyddysg, "Na fernwch," gan y gallai rhai o'r cyd-deithwyr fod yn ddynion sarug ac annifyr yr olwg arnynt ar y cyntaf, ac eto ymhell o fod yn ddynion drwg. Gall yr *American millionaires* fod mewn gwisg o'r fath waelaf, y myfyriwr astud o'r coleg ymddangos yn greadur cysglyd a dystaw, a'r athronydd a'r duwinydd heb amlygu athroniaeth na duwinyddiaeth, pryd y bydd yn curo yn mynwes pob un o honynt galon onest a charedig.

Nid wyf yn bwriadu rhoddi ond ychydig o hanes y daith yn yr ysgrif gyntaf hon, ond yn unig ddwyn ar gof ychydig o sylwadau sydd yn anghenrheidiol i'w cofio a meddwl am danynt cyn iawn gychwyn o'r Gorllewin pell.

Yn gyntaf oll, rhaid cofio pa fath wlad yr ydym yn myned trwyddi, ac edrych a ydyw yn werth y drafferth a'r draul i fyned. Wel ydyw, ddarllenydd. Os bu gwlad erioed yn werth myned iddi neu son am dani, nid gormod fyddai i mi ddyweyd fod America y cyfryw wlad. Er nad ydyw eto ond megys yn more ei dyddiau, ac nad ydyw amser wedi cael ond prin roddi ei aradr ar ei gwyneb llydan, er hyny y mae aml i le oedd, ychydig yn ol, yn drigfa bwystfilod o anifeiliaid ac anwariaid o ddynion, heddyw yn seinio yn beraidd drwy yr awyr sŵn bwyall y coedwigwr, gan arddangos llewyrch clir y gweithfeydd sydd yn codi yma a thraw. Rhaid cofio hefyd fod ein llwybr trwy leoedd geirwon, a bod i ni "daith yr anialwch" am oddeutu pum' cant o filldiroedd trwy'r *prairie*, heb nemawr o drigolion yn byw yno heblaw y *Red Indians;* a diammheu mai teimlad o gysur i lawer fel fy hunan, tra yn y cyfryw le, a fu sicrhâd tebyg i'r gair hwnw, "Yr Aiphtiaid y rhai a welsoch chwi heddyw, ni chewch eu gweled byth ond hyny." Mae yn ddiau fod golwg ar y *Red Indian* i'r dyn gwŷn yn peri llawn cymaint o flinder meddwl iddo âg oedd yr Aiphtiaid i'r Israeliaid.

Peth arall heb fod yn dderbyniol iawn genym ni fel creaduriaid oedd, os goddefir i ni yr ymadrodd, yn byw ar ffydd a thrugaredd yn fwy nag erioed, oedd gadael gwlad yr hâf i gael ein hunain, bron yn ddiarwybod, yn nghanol eira oesol y *Rocky Mountains.* Golwg ardderchog i ni oddiyno oedd gweled yr haul yn codi o'i wely dwyreiniol, y wawr yn ymledu, y tarth a'r cymylau yn ffoi yn gochion o'i wydd, ynghyd a gwêdd y mynyddoedd cribog, gwynion oedd o'n hamgylch, yn peri i ni feddwl am eiriau y Salmydd am y Goruchaf, "Yr hwn y mae gorddyfnderau y ddaear yn ei law, ac uchelderau y mynyddoedd yn eiddo." Nid oes gan neb na'i gwelodd un dychymyg am odidogrwydd codiad haul ar y *Rocky Mountains,* na chenyf finnau a'i gwelodd iaith i'w ddarlunio; ond diammheu nad ä yr olygfa byth o'm cof i, nac o gof neb arall a fu yn yr un amgylchiadau.

Yn ein pennod nesaf cawn ddyweyd ychydig am San Francisco, gan mai doeth a rhesymol iawn fyddai gwneyd ychydig nodiadau ar brifddinas y Gorllewin pell.

*Liverpool.*

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

YSBRYDOLIAD EFENGYLAU MARC A LUC.

Y MAE rhai wedi bod yn gofyn, gan nad oedd yr efengylwyr Marc a Luc yn apostolion, pa fodd y profir fod eu hefengylau hwynt mor ysbrydoledig â'r efengylau a llyfrau eraill y Testament Newydd. I hyn yr atebwn,—

1. Nid oedd doniau gwyrthiol yr Ysbryd yn gyfyngedig i'r apostolion. Gwelir yn Actau yr Apostolion fod personau eraill wedi eu ffafrio â'r doniau hyn. Ac yn yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid, y mae yr apostol Paul yn nodi am lawer o gristionogion fel rhai wedi cael doniau goruwchnaturiol, y rhai y gofynid iddynt eu harfer er adeiladaeth yr eglwys. *Goruchwyliaeth wyrthiol* ydoedd hòno; ac ar gychwyniad cyfnod newydd yn yr eglwys, yr oedd goruchwyliaeth o'r fath yn gyfaddas i gadarnhâu ffydd credinwyr, ac i brofi i'r byd Ddwyfol awdurdod y grefydd Gristionogol. Felly y mae'r ffaith neillduol fod doniau goruwchnaturiol yr Ys-

bryd yn cael eu cyfranu i lawer heblaw yr apostolion yn dangos nad yw Marc a Luc i'w cau allan oddiwrth fod yn ysgrifenwyr ysbrydoledig. Ac y mae fod y gweision hyn i Grist yn enwog am eu defnyddioldeb drosto, ac wedi eu dewis yn gymdeithion arbenig i apostolion, yn rheswm da dros i ni farnu eu bod yn gyfranogion o'r dylanwad goruwchnaturiol hwnw oedd yn cael ei roddi mor helaeth ar y tymmor hwnw o eglwys Crist.

2. Yr oedd traddodiad ymysg y cristionogion boreuol fod y ddwy efengyl hon wedi eu hysgrifenu dan gyfarwyddyd neillduol yr apostolion. Tertullian a ddywed, "Gellir dyweyd am yr efengyl a gyhoeddwyd gan Marc ei bod yn efengyl Pedr, i'r hwn yr oedd Marc yn fath o ddeonglydd." Ac efe a ddywed hefyd fod yr hanes gan Luc yn cael ei briodoli yn gyffredin i Paul, gan olygu, dybygid, ei fod yn seiliedig ar awdurdod Paul. Pa fodd bynag, nid yw tystiolaeth y Tadau fod Pedr a Paul yn cymeradwyo a chadarnhâu Efengylau Marc a Luc yn cynnwys nad oedd y ddau efengylydd hyn eu hunain wedi eu hysbrydoli; o herwydd y mae Eusebius yn llefaru yn gyffelyb am Efengyl Matthew. Efe a ddywed fod Paul a Pedr yn cymeradwyo Efengyl Matthew, ac yn cadarnhâu ei gwirionedd, yn gystal, medd efe, âg Efengylau Marc a Luc. A pha beth sydd yn fwy naturiol nag i ni dybio fod y naill ysgrifenydd ysbrydoledig, pan yr oedd yn anghenrheidiol, yn rhoddi ei dystiolaeth i ysgrifeniadau y llall? Yn y modd hwn, y mae Pedr, er yn anuniongyrchol, yn cadarnhâu awdurdod epistolau Paul. (2 Pedr iii. 15, 16.) Tybier fod llyfr ysbrydoledig yn dyfod i ddwylaw rhyw gristionogion oedd yn anwybodus am ei darddiad Dwyfol, ac y mae yn ddiau y byddai apostol a wyddai am yr amgylchiadau yn barod i roddi yr hysbysrwydd rheidiol am y llyfr hwnw, a chadarnhâu ei fod i'w dderbyn fel rhan o wir Air Duw.

3. Mae yn ffaith nas gellir ei ammheu fod Efengylau Marc a Luc wedi eu derbyn fel llyfrau canonaidd gan y prif gristionogion. Gan fod yr efengylwyr hyny yn cydoesi â'r apostolion, ac yn cael eu hyfforddi ganddynt, rhaid bod barn yr apostolion am eu hysgrifeniadau yn adnabyddus. Yr ydym yn cael fod cristionogion yr oesau boreuol yn hynod ofalus am chwilio i mewn i Ddwyfol awdurdod yr holl ysgrifeniadau a dderbynient i ganon yr Ysgrythyr Lân. Ac yr oedd ganddynt hwy yn ddiammheu well moddion i gyrhaedd yr hysbysiaeth anghenrheidiol, ac i ffurfio barn gywirach, nag a all fod genym ni yn y tymmor pell hwn. Fel hyn, gan nas gellir meddwl y buasai'r cristionogion boreuol, y rhai a dderbyniasant Efengylau Marc a Luc i ddechre, yn eu derbyn heb sail dda am eu hysbrydoliad, a'u bod hwythau yn gwneuthur yr hyn a wnaethant dan arolygiad yr apostolion, wele genym ni bob rheswm i foddloni i'w penderfyniad, a dodi y ddwy efengyl hon ar yr un tir â'r ysgrifeniadau ysbrydoledig eraill.

Ac y mae Efengylau Marc a Luc, fel y ddwy efengyl arall, o werth anhebgorol, megys y mae gan y pedair efengyl eu nodweddau a'u dybenion neillduol eu hunain, yn cyfateb i wybodaeth, dawn, a galwedigaeth pob awdwr, ac i anghenion y darllenwyr. Mae Marc, cydymaith Pedr, gan ysgrifenu yn Rhufain, ac i Rufeiniaid rhyfelgar, yn gosod allan Grist mewn darluniau bywiog ac argraffol, fel galluog Fab Duw, y Gwneuthurwr Rhyfeddodau, a'r Tywysog buddugoliaethus, ac yn estyn y ddolen gysylltiol rhwng Matthew a Luc, neu rhwng y cristion Iuddewig a'r cristion Cenedlig. Mae Luc, y physygwr a'r gŵr o ddysg, ysgolaig a chyfaill Paul, yn ysgrifenu fel efengylydd y Cenedloedd, yn benaf er mwyn y rhai a elwir "y Groegiaid," ac mewn trefn amseryddol, ac yn arddangos yr Iesu fel Cyfaill yn cydymdeimlo â phechaduriaid, Meddyg yn iachâu pob afiechyd, Bugail tyner defaid crwydredig, ac Awdwr iachawdwriaeth rad i Genedloedd a Samariaid yn gystal ag i Iuddewon. Diolch a ddylem, a diolch, hyderir, a wnawn, am Efengylau Matthew, Marc, Luc, ac Ioan.

---

GENESIS xiii. 8, 9: "Ac Abraham a ddywedodd wrth Lot, Na fydded cynhen, attolwg, rhyngof fi a thi, na rhwng fy mugeiliaid i a'th fugeiliaid di, o herwydd brodyr ydym ni. Onid yw yr holl dir o'th flaen di? Ymneilldua, attolwg, oddiwrthyf. Os ar y llaw aswy y troi di, minnau a droaf ar y ddehau; ac os ar y llaw ddehau, minnau a droaf ar yr aswy."

Y MAE yn ymddangos fod cyfoeth Abraham a Lot, yr hwn oedd yn gynnwysedig i fesur helaeth mewn anifeiliaid, wedi cynnyddu yn fawr, fel wedi iddynt ddychwelyd i'r hen le rhwng Bethel a Hai, lle y codasai Abraham ei allor gyntaf yn Nghanaan, nad oedd "y wlad yn abl i'w cynnal hwynt i drigo ynghyd." Canlyniad cyntaf hynyma ydoedd i gynhen gyfodi rhwng bugeilydd Abraham a bugeilydd Lot; a chan ragweled y dyryswch oedd yn debyg o ddygwydd, a'r hyn a allai ddybenu yn eu llwyr ymddyeithriad oddiwrth eu gilydd, dyma Abraham yn rhoddi i Lot y cynnygiad a geir yn yr adnodau hyn; ac mewn canlyniad dewisodd Lot iddo ei hun holl wastadedd yr Iorddonen.

Mor rhagorol, ni a welwn, oedd hyn oll o du Abraham! Gallasai efe roddi llawer

o resymau da am gael iddo ei hun yr hawl gyntaf i ddewis. Yn un peth, efe oedd yr hynaf; a gallasai yn naturiol ddysgwyl i Lot roddi i fyny i'w farn ef. A pheth arall: gallasai adgoffa i Lot mai nid efe oedd wedi dilyn Lot, ond mai Lot oedd wedi dyfod gydag ef, pan y gadawsant eu cartref yn Caldea, ac mai lle Lot ar y tir hwnw oedd ildio'r flaenoriaeth iddo ef. Ond nage! efe a roes heibio bob cyfryw hawl i flaenoriaeth, ac mewn modd anhunangar a ddywedodd, "Onid yw yr holl dir o'th flaen di?" Yn awr, os edrychwn pa fodd y daeth Abraham i weithredu fel hyn, ni a welwn ar unwaith mai ffrwyth ei ffydd yn Nuw oedd ei ymddygiad hwn; o herwydd yn nghanol hyn o hanes dywedir, "Y Canaaneaid hefyd a'r Phereziaid oedd yna yn trigo yn y wlad." A llwythau eilunaddolgar a hunangar oeddynt hwy. Ar y pryd hwn yr oeddynt hwy yn cyflawni mesur eu hanwiredd, o herwydd yr hyn y cymerwyd eu tir oddiwrthynt, ac y rhoddwyd ef i Abraham. Chwithig gan hyny a fuasai i addolwyr y gwir Dduw fyned i ymrafaelio o'u blaen hwy. Buasai hyny yn rhoddi achlysur iddynt gablu enw Jehofah, ac yn dwyn ei addoliad i warth. Felly, o barch i anrhydedd enw yr Arglwydd, yr oedd Abraham yn barod i aberthu ei elw bydol yn hytrach na gwneuthur dim a fyddai yn tueddu i iselhâu y grefydd a broffesid ganddo. Ac hefyd yr oedd yr Arglwydd wedi addaw gofalu am dano. Byth er pan y gadawsai efe wlad bellenig Ur, yr oedd efe yn edrych arno ei hun fel plentyn dan ofal Duw; ac yr oedd yn gwbl sicr ganddo y byddai i'w Dduw ddarpar drosto. Fel hyn, heb betruso, efe a wnaeth y cynnygiad hwn i'w nai; ac fel prawf na chamgymerodd efe ddim, cawn yn niwedd y bennod hon fod Duw yn ymddangos iddo, wedi i Lot ymneillduo oddiwrtho, ac adnewyddu iddo yr addewid am wlad Canaan, a'i arwain i wastadedd Mamre, yn agos i'r ddinas Hebron hono a elwir heddyw El-khulil ("y cyfaill"), yn goffadwriaeth o'i gysylltiad â'i chymydogaeth.

Aç i ni yn awr gyfodi oddiwrth yr hanes hynafol hwn, ac edrych ar wyneb cymdeithas yn ein dyddiau ni, wele pa faint o "gynhenau, cenfigenau, llidiau, ymrysonau, goganau, hustyngau, ymchwyddiadau, anghydfyddiaethau," y gellid eu rhagflaenu mewn teuluoedd, cymydogaethau, eglwysi, a gwledydd, trwy weithredu ar yr egwyddor yr oedd Abraham yn ei dwyn allan? Nis gallwn ni efelychu ei ffydd yn offrymu ei fab ar yr allor; ond gallem er ein mantais ddilyn ei esiampl yn yr achosion hyn o foneddigeiddrwydd ac anhunanoldeb. Mae yn wybyddus i bawb o honom ein bod, yn holl gysylltiadau bywyd, yn dra annhebyg i Abraham yn ei ymddygiad hwn. Dyna, er engraifft, ddau ŵr yn yr un alwedigaeth fasnachol; ac nid yw y *business* yn ddigon i'r ddau; ond y mae yn dygwydd fod gan un fwy o *capital* na'r llall, ac felly y mae efe yn dechre trwy werthu yn is na'r llall —dodi i lawr ei brisiau i swm afresymol ac anonest o râd; ac yna, wedi iddo ddyfetha ei gymydog, a sicrhâu yr holl fasnach iddo ei hun, mae yn dechre ad-dalu iddo ei hun yn hamddenol. Yn hen ddyddiau ein tadau cymerid yn rheol, "Bywiwch a gadewch i eraill fyw" *(Live and let live)*; ond yn bresennol, trwy hunangarwch cydymgais, ceir dynion yn mathru eu gilydd, ac yn dywedyd mewn ymddygiad, "Byddwch farw fel y gallwyf fi fyw." Neu, edrychwch ar hyn mewn cylch arall: dyna ddau gwmni ffyrdd haiarn; y ddwy reilffordd yn cysylltu yr unrhyw brif leoedd trafnidiol â'u gilydd. Yn lle bod yn gydystyriol o'u gilydd, mae pob un yn ceisio am y gyfran fwyaf, ac felly y mae'r naill yn rhedeg y llall i lawr, nes y mae'r cyfranddalwyr yn cael eu handwyo, a'r rhai sydd yn gwasanaethu yn cael eu gwasgu i'r ffyrling isaf, ac wedi hyny golygfeydd echrydus fel y gwelsom yn ddiweddar [yn America] yn cymeryd lle.

Ac nid yw y drwg hwn yn gyfyngedig i fasnach. Er gwaradwydd i'n Cristionogaeth, rhaid i ni ddywedyd fod yr unrhyw wrthymgais hunanddinystriol i'w gael ymysg eglwysi. Dyna genych gymydogaeth fechan wladaidd, gyda phoblogaeth sydd yn unig yn ddigonol i gynnal yn briodol un gweinidog efengylaidd, yr hwn a allai gyfarfod â holl anghenion y lle. Fe allai mai y Methodistiaid, gyda'u holl barodrwydd a'u zel adnabyddus, yw y rhai cyntaf i feddwl am y gymydogaeth; a dyna hwy yn cyfodi ynddi addoldŷ, ymha un am amser y mae pawb yn cyfarfod mewn cydfod. Ond cyn hir y mae yr ychydig Esgobyddwyr yn eu mysg yn arddangos dymuniad cryf am fwynhâu eu gwasanaeth hwy eu hunain; yna mae yr ychydig Fedyddwyr yn eu plith yn ewyllysio myned yn eglwys o'r eiddynt eu hunain; wedi hyny rhaid i'r Annibynwyr a'r Presbyteriaid, rhag bod ar ol y lleill, gael bob un eu hachos gwahanol; ac fel hyn o'r diwedd mae yno bedair neu bump o gymdeithasau gweinion a nychlyd, ac yn cael eu cynnal fe allai gan genadaethau cartrefol eu henwadau, lle y gallasai un wneyd y tro, ac na ddylasai fod yno ychwaneg. Ar yr un pryd y mae pentrefi newyddion yn ymgyfodi flwyddyn ar ol blwyddyn, ymhob un o'r rhai y mae yn anhawdd i'n cymdeithasau cenadol gynnorthwyo am yr amser hyd yn nôd un efengylydd. A pha beth a ddywedwn ni wrth y pethau hyn? Onid ydynt oll yn tarddu o ddiffyg cyd-

ystyried bawb ein gilydd? Ac onid yw hyny yn dangos fod ynom ddiffyg yn y fath grefyddoldeb ag oedd yn Abraham? Ac onid yw y Canaanëaid a'r Pereziaid yn chwerthin yn wawdus am ein pen?

Chwi a ddywedwch wrthyf mai *competition* yw bywyd masnach. Ond yr wyf yn ateb y dylai masnach fod er mwyn y bobl, ac nid y bobl er mwyn masnach. Dywedwch fod gan y gwahanol sectau eu pwrpas neillduol; ac nid wyf am ddadleu yn erbyn hyny; ond mi a atebaf, pa beth bynag yw pwrpas y naill y llall, y dylai y sectau fod er mwyn Cristionogaeth, ac nid Cristionogaeth er mwyn y sectau; ac os rhaid i un o honynt fyned i'r clawdd, dywedaf fi, Ymaith â sectyddiaeth fel y gallo Cristionogaeth fyw. Ai nid fel hyn y mae, frodyr, nas gall masnach ffynu, na'r eglwysi lwyddo, heb yr hunangarwch sydd yn sathru eraill i lawr? Byddai yn well genyf fi golli y cwbl sydd genyf na myned yn gyfoethog trwy ddrygu dyn arall. Ac os nad ellir cychwyn achos crefyddol newydd ond yn unig trwy ddadsylfaenu a dinystrio achos sydd yn bod eisoes, ni byddwn i, os yn fy ngwybodaeth, yn euog o gynnorthwyo i'w sefydlu. Y mae digon o le yn y byd, a digon o waith i'w wneyd ynddo dros Dduw; ac os ydym yn dymuno gwneyd y gwaith hwnw, awn i le arall a dechreuwn. Felly y byddwn yn ymdebygu i Abraham ffyddlawn.—*Y Parch. W. M. Taylor, D.D., New York.*

---

# Barddoniaeth.

## Y PERERIN AR BEN EI DAITH.

Teithio ymlaen y mae 'r pererin,
  Llwythog faich sydd ar ei gefn;
Ar ol trechu un anhawsder,
  Arall ddaw i'w gwrdd drachefn:
Ymosoda yr elfenau
  Yn ei erbyn, ar ei hynt;
Gwibia 'r mellt, a rhua 'r daran,
  Cura 'r gwlaw, a rhuthra 'r gwynt.

Dystaw, araf, penderfynol,
  Teithia yn ei flaen o hyd,
Heb gael nemawr gydymdeimlad,
  Heb gael dim ond gwg y byd;
Wedi llawer profedigaeth,
  At y terfyn cyrhaedd wnaeth;
Collwyd golwg arno yma
  Yn y niwl. Pa le yr aeth?

Aeth ei enaid mewn gorfoledd
  Ar adenydd angel gwyn;
Pan yn myned, prin y gwybu
  Am dywyllwch niwl y glyn:
Cyrhaedd wnaeth yr aur ororau,
  Glân lanerchau 'r Canaan glyd;
Ni ddaw cystudd, poen, na gofid,
  Mwy i'w flino; gwyn ei fyd!

Ar ol dysgwyl yn bryderus
  Am flynyddoedd meithion iawn,
Daeth i'w feddiant etifeddiaeth
  Deg yr arfaeth fawr ei dawn:
Wedi bod rhwng tònau geirwon,
  Dyna fe yn cael y lân;
Cododd heulwen tragwyddoldeb
  Ar ei enaid yn y fan.

At y terfyn i'w groesawu,
  Engyl ddaeth fel gosgordd nen,
Gan ei arwain i'r canolbwynt
  At y Gŵr fu ar y pren:
Gyda hyfder, eto 'n wylaidd,
  Edrych ar ei wyneb gwyn,
Heb gynnorthwy drych na dammeg,
  Fel y byddai raid cyn hyn.

Teimla gartref wedi cyrhaedd
  At y dyrfa weddaidd lân,
Telyn ga'dd o nef-wneuthuriad
  I ymuno yn y gân!
Tybio 'r ydym wrth ymwrando,
  Glywed sain yr anthem lòn
Yn cyrhaeddyd glànau amser,
  Gan ymdori 'n dòn ar dòn.

Rhodio gaiff ar lethrau bryniau
  Gwyrddion, heirdd, cyfammod gras,
Bwyta o ffrwythydd pren y bywyd,
  Yfed gwin pereiddia 'i flas!
Henffych wlad o Ddwyfol iechyd,
  Lle mae pawb yn bythol fyw,
Ac yn nofio mewn hapusrwydd,—
  Nefoedd dyn a nefoedd Duw!

Abraham Roberts.

*Ystrad Rhondda.*

---

## SWPER YR ARGLWYDD.

Y Bara hwn gymerwn
  Er cof o'r dryllio wnaed,
O'r cwpan hefyd yfwn
  I gofio am y gwaed;
Y gwaed a'r dryllio chwerw
  Ar groesbren Calfari,
A'r pridwerth dilys dalodd
  Ein Meichiau drosom ni.

A chalon edifarus
  I'w swper ef nesawn,
I wneyd diolchus goffa
  O'r angeu sydd yn Iawn:
Gwnawn hyn er cofio 'r cariad
  Sydd megys môr didrai,
A'i dònau 'n dwyn bendithion
  Dirif i euog rai.

O'i fodd! o'i fodd aeth Iesu
  Dan chwerwaf lymaf loes;
O'i fodd efe fu farw
  Yn aberth ar y groes,
Gan wneuthur cymmod drosom
  Er mwyn i ni gael byw,
A dianc yn ei gysgod
  Byth rhag digofaint Duw.

O'n bodd ymunwn ninnau
Dan faner T'wysog nef,
A'n hunain a gysegrwn
Yn aberth iddo ef;
Ac yna gallwn edrych
Heb arswyd ar y bedd,
"Mewn gwir ddiogel obaith"
Mwynhâu tragwyddol wledd.

T. BANGOR.

## BARA.

HELAETH ddarbodaeth bywydau—i ddyn
Ddwg bara drwy 'r oesau,—
Y ddaearol rôdd orau
O eiddo Iôr yn ddiau.

H. J.

*Penygroes, Llanllyfni.*

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### Y BONEDDWR HAELIONUS O LANDINAM.

YN Nghyfarfod Misol Llanidloes, tua diwedd mis Ionawr, addawodd D. Davies, Ysw., A.S., Llandinam, yn chwanegol at ei roddion haelionus, sydd mor ehelaeth, y swm o gan' punt tuag at dalu dyled capel Llawr-y-glyn; a dywedai os byddai i'r cyfeillion yn Mhont Robert fyned i adeiladu capel newydd, y deuai efe yno i osod y gareg sylfaen; ac y mae yn dra hysbys mai nid cnocio â morthwyl yn unig a wna ei law ef ar y cyfryw achlysur, ond yr estynir o honi help effeithiol i roddi'r ceryg wrth eu gilydd ar ol sylfaenu.

Yr oedd yn dda genym fod cyfarfod cyhoeddus wedi cael ei gynnal ar noson gyntaf y Cyfarfod Misol hwn, i gyflwyno anerchiad i Mr. Davies, pryd y llywyddwyd gan y Parch. D. Jones, Machynlleth, llywydd y Cyfarfod Misol. Rhoddwyd cyfarchiadau priodol ar yr achlysur dyddorus gan y Parchn. N. Cynhafal Jones, Joseph Thomas, a Dr. Owen Thomas, a chan Mr. Owen, Machynlleth, a Mr. Mills, Llanidloes; a darllenwyd yr anerchiad gan y Parch. O. Jones, M.A., y Drefnewydd, ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, pa un oedd yn hynod gymhwys a phriodol. Nid oes genym le i'w ddodi i mewn yma; yn unig, rhoddwn o hono ddwy frawddeg, anghysylltiol â'u gilydd:—

"Your liberal donation towards the Ministers' Fund in North and South Wales, have enabled the committee to make provision for its ministers, the widows, and orphans; and by so doing, you have made widows' hearts sing with joy, and the blessing of the fatherless to come upon you."

"Not only do you give, and give well, but you give wisely. Your gifts are not blind, but intelligent ones. Whilst others are content to follow, you always take the lead, as your donations have in them the spirit of wisdom, which excites the dormant energies of others. By so doing, you have created a new period in the history of Calvinistic Methodism in Wales."

Cyfeirid hefyd at ei roddion neillduol ynglyn â'r Drysorfa Gynnorthwyol, ac â'r Cyfarfod Misol hwnw yr oedd yn aelod o hono er ys llawer o flynyddoedd—tuag at adeiladu capelau newyddion, a thalu yr hen ddyledion ar gapelau. A chrybwyllid am Mrs. Davies, fel yr oedd hi yn ei gefnogi yn ei haelioni a'i weithgarwch crefyddol.

Gallem farnu fod araeth Mr. Davies wrth dderbyn yr anerchiad yn dra effeithiol, yn ol y cyfieithiad o honi sydd yn y *Goleuad*. Am dano ei hun fel Methodist, dywedai,—

"Y mae yn wir fy mod yn teimlo cariad gwirioneddol tuag at y Methodistiaid, mwy, mae yn debyg, tuag atynt hwy na thuag at neb arall. Ac ni ddylai neb mewn un modd deimlo oblegid hyny; o herwydd dyledswydd pawb yw edrych ar ei deulu ei hun, a'i gymydogion yn gyntaf o flaen pawb ereill. Y mae cyfrifoldeb arnom gyda golwg arnynt hwy; ac fe'n condemnir os na ofalwn am danynt. Fy nyledswydd innau yn gyntaf yw gofalu am y Methodistiaid, ac yna, os bydd genyf rywbeth i'w roddi, gofalu am ereill."

Bydd pawb sydd yn adnabod Mr. Davies yn gweled ei fod yn gwbl fel efe ei hun yn y sylwadau canlynol:—

"Hawdd y gallai fod yma heno gant o bobl ag sydd mor deilwng o'r anerchiad hwn ag ydwyf finnau. Mae yr Arglwydd yn gwerthfawrogi rhôdd y tlawd fel y cyfoethog; ac fe allai ei fod yn gwerthfawrogi rhoddion y tlawd yn fwy. Y mae pobl yn rhoddi o'u heisieu, rhoddi nes teimlo, rhoddi nes y mae eu cymffwrdd yn llai ar ol rhoi. Ond nid oes genyf fi un gôb waelach ar fy nghefn heno oblegid fy rhoddion. Ond pa beth bynag a roddais erioed, ni chyfrifais mo honynt. Nid oes genyf y ddirnadaeth leiaf pa faint yr wyf wedi ei roddi. Y cwbl a welaf yw *Rhôdd, Rhôdd* yma ac acw wrth agor dalenau fy *cheque-book*. Ond byddaf yn ymdrechu ystyried pa faint a allaf ei roddi ac at ba amcanion y byddai yn oreu i mi roddi, a pha fodd y gallaf fod yn foddion i dynu pobl ereill hefyd i weithio ac i roddi."

Yn ddifrifol y dywedai,

"Wedi'r cwbl, pa faint bynag o bethau y byd hwn sydd genym, yr hyn yw elw crefydd yw ymron yr oll a feddwn. Ymhob peth arall byddwn yn fuan iawn ar yr un *level*, wedi colli y cwbl ond hyny o grefydd a fydd genym. Eto y mae arian o help mawr i achos Iesu Grist yn y byd hwn."

Nid yw hyna ond rhan fechan o'i araeth ddyddorol. Yn unol â diwedd yr anerchiad, yr ydym ninnau yn gobeithio a gweddïo y caiff y boneddwr haelfrydig hir ddyddiau gan Ragluniaeth rasusol i fwynhâu â gwneuthur daioni, a phan ddêl y diwedd y trefnir iddo yn helaeth fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist.

### CAPEL TAN Y GROES, DEHÂU ABERTEIFI.

DECHREUWYD ar y gorchwyl o helaethu ac adnewyddu y capel hwn tua dechre yr haf diweddaf, a gorphenwyd ef ryw ychydig cyn diwedd y flwyddyn. Yr oedd y draul rhwng saith ac wyth gant o bunnau; a hyfryd yw gallu dywedyd y cafodd ei agor yn gapel cwbl ddiddyled. Ac ni bu eisieu cymhorth

cyngherdd na darlith na chwrdd yfed tê tuag at hwbio i dalu'r ddyled; ond gwnaed hyny trwy yr hen ffordd dda ac ysgrythyrol—"y gras hwn," ys dywed Paul, o roddi yn wirfoddol. Y mae nid yn unig yn gapel hardd, ond, yn marn pawb a fu ynddo, yn *hynod* o hardd. Yn nghyfarfod yr agoriad pregethodd y Parchedigion Thomas Thomas o Abertawe, J. Cynddylan Jones o Gaerdydd, Evan Phillips o'r Castellnewydd, a G. Davies o Aberteifi. Cafwyd pregethau gwir ragorol, a chynnulleidfa yn gorlenwi'r capel bob odfa, er fod y tywydd yn wlyb. A chasglwyd ar yr achlysur ddeunaw punt a deunaw swllt.

---

### CAPEL MYNYDD Y FFLINT.

Yr ysgogiad cyntaf y cawn hanes am dano tuag at ddwyn Methodistiaeth Galfinaidd i ardal Mynydd y Fflint—rhwng tref y Fflint a phentref Llaneurgain—oedd Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal mewn tŷ a elwir Waen isaf, trwy ymdrechion hen gristion da o'r enw Dafydd Jones, gwehydd, un o'r tri y rhoddir eu hanes yn *Methodistiaeth Cymru*, a gaed "yn cadw cymdeithas eglwysig yn Llaneurgain, cyn i weinidogaeth yr efengyl gael lle i osod ei throed i lawr." Yr oedd effeithiau daionus yn canlyn sefydliad yr Ysgol Sabbothol; dynion anystyriol, hen ac ieuainc, yn dyfod i feddwl yn ddifrifol am fater eu heneidiau. Y mae oddeutu tair blynedd a thriugain er pan gychwynwyd yr ysgol hon yno. Wedi hyny symudwyd i dŷ oedd yn fwy yn nghanolbarth yr ardal; ac yn ymyl y tŷ hwnw yr adeiladwyd y capel cyntaf yma, yn benaf trwy offerynoldeb yr hen flaenor hynod, John Williams o Laneurgain. Cafwyd y tir gan E. Lewis, Ysw., Bryn edwyn, yn rhad. Capel bychan ysgwâr ydoedd, a'r pulpud yn wynebu'r drws. Oddeutu tair blynedd ar hugain yn ol, helaethwyd ac adgyweiriwyd ef, pryd y cafwyd yn rhad dir ychwanegol gan T. Lewis, Ysw., mab i'r boneddwr a enwyd. Ond er yr adgyweiriad a'r helaethiad, yr oedd yr olwg arno ymhell o fod yn addoldŷ hardd, teilwng o addoliad y Brenin Mawr, hyd y flwyddyn ddiweddaf, pryd y cafodd adgyweiriad trwyadl, yn ol cynlluniad y Parch. Evan Lloyd, Treffynnon. Rhoddwyd *front* newydd iddo, a gwnaed oriel ar hyd ddo, fel y mae yr olwg arno yn awr, yn ol fel y dywedai un gŵr parchedig, "yr harddaf yn y Sir yn ol ei faint." Adagorwyd ef drwy gyfarfod pregethu y dydd olaf o'r flwyddyn ddiweddaf, a'r dydd cyntaf o'r flwyddyn hon. Ar y naill ddydd, pregethodd y Parchn. E. Lloyd a S. P. Jones, Llanasa; yr olaf yn Wesleyad; ac ar y dydd canlynol, y Parchn. J. Ogwen Jones, B.A., Rhyl, a Josiah Jones, Fflint. Cafwyd cynnulleidfäoedd rhagorol, a chasgliadau da, a gweinidogaeth effeithiol.—*W. D.*

---

### Y PARCH. HUMPHREY WILLIAMS, FFESTINIOG.

Gan fod yr hen frawd ffyddlawn hwn wedi ei gystuddio gan waeledd corfforol, ac felly yn analluog i ddilyn ei gyhoeddiadau Sabbothol, darfu i aelodau yr eglwys yn Peniel, gydag ychydig gyfeillion eraill, feddwl am estyn cynnorthwy mewn ffordd o dysteb iddo. Yr oedd yr amser yn adeg anfanteisiol ar y flwyddyn i gasglu, ac ychydig amser a dreuliwyd at hyny; ac onidê credir y buasai'r swm yn llawer mwy. Pa fodd bynag, daeth i law y swm o £23 4s. 11c. Yn ol penderfyniad yr eglwys, penodwyd y swyddogion, Meistri R. Griffith, W. Davies, W. Jones (Highgate), W. Jones (Ffestinfab), R. Jones, a W. W. Jones, gyda Dr. Roberts, Bronhaul, meddyg yr hen frawd, i gyflwyno yr anrheg iddo yn ei dŷ. Efe, gan eistedd ar ei wely, a ddiolchodd yn gynhes i'w frodyr, ac i'r eglwys, a'r holl gyfeillion, oedd fel hyn wedi cofio am dano mewn gweithred a gwirionedd; a hyderai y byddai iddo, gyda bendith y Goruchaf, gael ei adferu eto am ryw dymmor i fyned i mewn ac allan gyda hwy yn ngwasanaeth y Pen-meistr mawr."

---

### MARWOLAETH Y PARCH. JOSEPH HUGHES, GWERNYMYNYDD, SIR FFLINT.

Ionawr 14, 1883, bu farw Mr. Joseph Hughes, Gwernymynydd, gerllaw yr Wyddgrug, yn 47 mlwydd oed. Cafodd gystudd maith; ac yr oedd efe, yn ol y rheol ysgrythyrol, "yn ddyoddefgar mewn cystudd, yn dyfal barhâu mewn gweddi," ac "ymhob dim yn diolch." Pan nad oedd eto yn gwybod pa fodd y dybenai ei anhwyldeb, dywedai, "Os bydd fy Nhad nefol yn gweled yn oreu fy nghymeryd ymaith, pob peth yn dda. Yr ydwyf fel aderyn bach, yn barod i gymeryd fy hedfan pan fo galwad. Y mae fy ewyllys i ac ewyllys fy Nhad nefol yr un, a'm dewisiad i fyw neu farw yn dibynu yn hollol ar ewyllys fawr fy Nuw." Un o'r geiriau olaf oddiwrtho a ddeallwyd oedd, "Gyda Duw!"

Bu y brawd yn pregethu am oddeutu deunaw mlynedd; ac er na bu yn bregethwr poblogaidd, cyfrifid ef yn pregethu yn fuddiol, a'i nôd yn gyfeiriol at galonau a chydwybodau ei wrandäwyr; ac ni bu ei weinidogaeth heb seiliau iddi fod yn llwyddiannus i ennill eneidiau at yr Arglwydd. Fel dyn a christion, yr oedd gan ei holl gydnabod feddwl mawr am dano; a byddai yn y cyfarfod eglwysig yn adeiladol a chymeradwy.

Claddwyd ef y dydd Iau canlynol i'w farwolaeth yn mynwent blwyfol Llanferras. Wrth ei dŷ, cyn cychwyn y corff, dywedwyd ychydig eiriau gan y Parch. R. Edwards, yr Wyddgrug, a gweddïodd y Parch. Robert Jones, Tryddyn. Yr oedd nifer lliosog o gyfeillion a chymydogion wedi dyfod ynghyd. Wrth y bedd, gweinyddwyd gan y Parch. William Pierce, a R. Owen, Tŷ draw, yr Wyddgrug. Traddodwyd y bregeth angladdol ymhen yr wythnos yn nghapel Gwernymynydd gan y Parch. R. Edwards oddiar 2 Cor. v. 4.

---

### MARWOLAETH MR. T. F. ROBERTS, DOLENOG, LLANIDLOES.

Ionawr 16eg, bu farw Mr. Thomas Foulkes

Roberts, Dolenog, Llanidloes, yn 66 mlwydd oed. Yr oedd Mr. Roberts yn un adnabyddus a chanmoladwy fel un oedd ar y blaen ymysg diaconiaid y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru. Yr oedd yn fab i'r hen flaenor hysbys ac enwog, Dr. Roberts, Mynyddygôf, Môn, ac felly wedi ei fagu yn ngeiriau'r ffydd, a'i ddwyn i fyny yn Fethodist Calfinaidd o'r iawn ryw. Daeth yn ŵr ieuanc i ddechre *business* fel *tanner* yn Nhreffynnon; a chaed ef ar unwaith yn llafurus a llwyddiannus gyda'r byd, ac yn ymdrechgar a ffyddlawn gyda chrefydd. Wedi iddo briodi ail ferch i'r hybarch Mr. Hugh Jones, Llanidloes, a symud i fyw i'r dref hono, yn y flwyddyn 1843, cafwyd ef yr un mor weithgar gyda byd ac eglwys; ac fel blaenor yn ei eglwys gartrefol teimlir y golled fwyaf ar ei ol. Bu am amryw flynyddoedd yn Drysorydd Cymdeithas Genadol Gartrefol Gogledd Cymru; ac yr oedd yn cyflawni y swydd bwysig hono yn drefnus a chymeradwy. Yr oedd yn ŵr helaeth ei wybodaeth, gyda doethineb a challineb ynddo yn cyd-drigo. Efe, er ys blynyddoedd, oedd yr henadur *(alderman)* hynaf yn Nghynghor Trefol Llanidloes, ac wedi bod yn faer amryw weithiau; ac yr oedd yn un o ustusiaid heddwch Sir Drefaldwyn, ac fel y cyfryw yn llanw ei le ar fainc yr ynadaeth. Un o gynghorwyr diogelaf ei Gyfarfod Misol ydoedd; a gwnaed coffâd anrhydeddus am dano, gydag arwydd o gydymdeimlad â'i weddw barchus a thrallodus, gan ddau Gyfarfod Misol y Sir, y Rhan Uchaf a'r Rhan Isaf o Drefaldwyn, a chan Henaduriaeth Siroedd Trefaldwyn ac Amwythig. Daeth tyrfa fawr o gyfeillion galarus ynghyd i'w gladdedigaeth; a phregethwyd pregeth angladdol dra phriodol yn nghapel Llanidloes ar y Sabboth gan y gweinidog, y Parch. N. Cynhafal Jones, yr hon a ymddengys yn y DRYSORFA.

---

### MARWOLAETH MR. DAVID H. SAUNDERS, ABERTAWE.

IONAWR 31, ar yr awr olaf o'r nos, bu farw Mr. David Howell Saunders, mab y Parch. David Saunders, Abertawe, yn 19 mlwydd oed. Yr oedd efe, yn ol pob argoel, yn ofni yr Arglwydd o'i febyd. Yr oedd yn berchen synwyr cryf, yn nodedig am ei ysbryd llariaidd ac addfwyn; ac yr oedd pob gobaith am ddyfodol dysglaer o'i flaen os estynid ei ddyddiau, fel cyfreithiwr yn y byd, ac fel cristion glöew yn yr eglwys. Ond rhoes y darfodedigaeth nychlyd ei marc arno; ac er pob ymdrech a gofal, symud i awyr Gwlad yr Hâf, a'r holl ymgeledd a ellid roddi, angeu a orfuodd. Bu farw yn nhangnefedd efengyl Crist. Dygwyd ei gorff i'w gladdu yn meddrod y teulu yn *Cemetery* Aberdâr, dydd Mawrth, Chwefror 6ed, pan yr oedd tua hanner cant o weinidogion a phregethwyr yn wyddfodol, nifer mawr o flaenoriaid eglwysig, a lliaws lawer gyda hyny. Gweinyddwyd ar yr achlysur pruddaidd gan y Parchedigion David Phillips, W. James, (Aberdâr), Ll. Llewelyn, W. John, J. Morgan Jones, a William Williams.

Cydymdeimlir yn gyffredinol a dwys â Mr. a Mrs. Saunders yn eu profedigaeth chwerw. Y maent hwy wedi cael "rhwygiad ar rwygiad." Tua wyth mis yn flaenorol y bu farw eu merch hoff Miss Cassie Saunders, yn 22 oed; ac yr oedd "hen elyn dynoliaeth" wedi bod yn anrheithio'r teulu cyn hyny; ac nid oes bellach ond un mab wedi ei adael iddynt. Nid oes genym ond gobeithio a gweddïo i Dad y trugareddau, Duw yr amynedd a'r dyddanwch, roddi gras yn gymhorth cyfamserol i'n hanwyl frawd a'i anwyl briod, ar gyfer eu trallodau dyfnion, fel na lyncer hwy gan dristwch ar dristwch, ond y byddo profiad eu ffydd yn gweithredu amynedd, fel y byddont, trwy'r cwbl, yn berffaith a chyfan heb ddiffygio mewn dim.

---

### CYDYMDEIMLAD A SYR WATKIN WILLIAMS WYNN.

TYBYGEM mai hysbys ydyw i'r rhan fwyaf o'n darllenwyr y bu farw Miss Marie Nesta Williams Wynn, merch ieuengaf Syr Watkin Williams Wynn, Barwnig, A.S., ar y 26ain o Ionawr diweddaf, yn 14 mlwydd oed. Gan y bu Syr Watkin ei hun yn glaf iawn yn ddiweddar, ac ymhell o fod wedi gwellâu ar y pryd y bu farw ei ferch hoffus, yr oedd y cydymdeimlad âg ef a'i foneddiges, a'u merch a adawyd iddynt yn weddill diangol, yn gyffredinol a dwys; canys y mae enw y barwnig o Wynnstay yn hysbys drwy'r gwledydd fel gwladwr da, meistr tir canmoladwy, ac un sydd, er ys blynyddoedd bellach, yn enwog am ei ryddfrydedd a'i haelioni yn rhoddi tir i adeiladu capelau ac ysgoldai i'r holl enwadau crefyddol. Ymysg eraill, pasiwyd pleidlais o gydymdeimlad â Syr Watkin a *Lady* Williams Wynn yn Nghyfarfod Misol Sir Fflint, a gynnaliwyd yn Llangollen, Ionawr 28 a 29; ac anfonwyd atynt anerchiad cydymdeimladol wedi ei arwyddo gan y Parch. J. Jones, Rhosllanerchrugog, Llywydd y Cyfarfod Misol, a'r Parch. J. Jones, Ruabon, yr Ysgrifenydd. Yn ychwanegol at hyn, darfu i aelodau eglwys y Methodistiaid yn Ruabon, y lle nesaf i balas Wynnstay, anfon trwy eu gweinidog, Mr. Jones, eu cydymdeimlad arbenig hwythau â'r teulu urddasol yn eu profedigaeth fawr. Cafodd Mr. Jones lythyr oddiwrth Syr Watkin yn dymuno arno ddiolch i'r Cyfarfod Misol am y cydymdeimlad tirion ac amserol a anfonwyd ato, a llythyr hefyd oddiwrth *Lady* Williams Wynn, yn cyfeirio yn benaf at y "*kind note of sympathy*" oddiwrth yr eglwys Fethodistaidd yn Ruabon, yr hyn a gafodd, meddai, yn ddefnyddiau cysur neillduol; ac ynglŷn â'i theimladau o dristwch, dywedai fod ganddi eto lawer o destynau diolch i'r Arglwydd, "ac felly," ebe hi, "y mae gan fy unig blentyn, gan fod Syr Watkin â'i iechyd yn llawer gwell."

---

### YR EGLWYS GYMREIG YN WALLAROO, AUSTRALIA.

ANFONWYD i ni y *Wallaroo Times* am Tachwedd 1, 1882, ond yr hwn a ddaeth i law yn

rhy ddiweddar i'r DRYSORFA am fis Chwefror. Rhoddir adroddiad yno am y gylchwyl flynyddol ynglŷn â'r eglwys Gymreig yn Wallaroo ar y dyddiau Sabboth a Llun, Hydref 29 a 30 diweddaf. Ar y Sul pregethodd y Parch. O. Copeland, cadeirydd yr Undeb Cynnulleidfäol, a'r Parch. S. N. Rogers (Bedyddiwr), Moonta; Mr. Copeland y bore a'r hwyr, a Mr. Rogers y prydnawn. Yr oedd y capel yn orlawn ar yr achlysur. Y Llun cafwyd darlith ragorol ar "John Bright" gan Mr. Copeland, pryd yr oedd y Parch. W. Davidson, y gweinidog Presbyteraidd, yn llywyddu. Diolchai y Parch. John Lloyd, gweinidog y capel, am yr holl gynnorthwy a roddwyd i'r eglwys a'r gynnulleidfa ar yr achlysur. Yr oedd *Master* Thomas Evans yn chware yr organ yn yr holl gyfarfodydd, a chôr yr eglwys Gymreig yn canu darnau cerddorol yn gampus yn y cyfarfod diweddaf. Buasai yn dda genym gael hanes mwy neillduol am y Cymry a'u hachos crefyddol yn Wallaroo, yn gystal ag yn y parthau eraill o Australia.

---

# Bywgraffiaeth.

### Y DIWEDDAR BARCH. JOHN RICHARDS, LLECHRYD, ABERTEIFI.

*Gan y Parch.* R. L. ROOSE, *Holt, Wrexham*

*(Parhâd o du dalen 76.)*

EDRYCHWN yn awr ar Mr. Richards yn ei gysylltiad â gweinyddiad yr ordinhadau, ac yn enwedig yr ordinhâd o fedydd, yn yr hwn waith y rhagorai o'r bron ar bawb a welsom ac a glywsom ni; a hyn yw tystiolaeth cannoedd. Anhawdd ydyw desgrifio mewn geiriau ei ddull naturiol ac effeithiol; rhaid ydoedd ei weled a'i glywed. Tebygol ydyw ei fod wedi bedyddio nifer mwy o blant rhieni crefyddol o fewn rhai o siroedd y Deheudir nag un gweinidog arall yn nghorff y Methodistiaid. Cyferchid ef yn aml yn nhrefydd poblog y gweithfeydd, gan feibion a merched, fel eu tad ysbrydol, a'r hwn a weinyddodd arnynt yr ordinhâd o fedydd. Byddent yn falch o gael ysgwyd llaw âg ef; a theimlai yntau yn llawen iawn eu gweled hwythau. Yr oedd rhyw swŷn ysbrydol yn ei ysbryd, ei ddull, a'i lais, a wnai argraff annileadwy ar feddyliau y rhieni a gyflwynent eu rhai bach i'r Arglwydd a'i eglwys, fel ag yr ymddangosai yr ordinhâd iddynt hwy a'r gynnulleidfa, wrth iddo ei gweinyddu, mewn goleuni newydd, ac yn briodol a phrydferth dros ben; a chlywid Amen yn esgyn o lawer calon ar ddiwedd y gwasanaeth. Un tro wrth fedyddio, ymddangosai y fam yn dra phryderus am fod yr un bychan yn wylo yn fawr; a phan ganfyddodd yntau hyny, trôdd ati, a dywedodd gyda gwyneb llawen, "Peidiwch a chyffroi mewn modd yn y byd; arwydd fod y plentyn yn fyw ydyw ei fod yn wylo." Dywedodd hyn gyda'r fath ddylanwad nes cynnyrchu llawenydd ymhob mynwes, a gwên ar bob gwyneb yn y lle. Wrth ofyn i'r rhieni beth oedd enw y plentyn, ac wedi iddynt hysbysu hyny, arferai ddyweyd mewn llais hyglyw,—"Ië, da chwi, rieni, gelwch eich plant wrth eu henwau priodol. Os John, William, neu Thomas, yw yr enw, peidiwch a'u galw yn Jack, Wil, neu Twm: llysenwi yw peth felly." Ac fel hyn defnyddiai ef y cyfleusdra i addysgu y bobl mewn moesau da.

Byth nid anghofiwn yr olygfa brydferth a welsom yn eglwys Llechryd ar noswaith hafaidd yn y flwyddyn 1880, sef derbyniad teulu cyfan yn aelodau eglwysig drwy yr ordinhâd o fedydd. Yr oedd y tad, o herwydd gorchwylion neillduol, yn gorfod bod yn absennol o'r cyfarfod; ond daeth y fam a'r plant oll ynghyd. Ar ol darllen y rhanau priodol, gweddi daer, cynghorion dwys, ac eglurhâd ar natur a dyben yr ordinhâd, safai y plant oll ar eu traed, yn amrywio mewn oedran o bump hyd ddeuuaw mlwydd tybygem. Wedi i'r merched dynu ymaith eu hetiau, nesâai Mr. Richards atynt, daliem ninnau y llestr iddo, a chymhwysai yntau y dwfr at bob un, gan ddechre gyda'r hynaf a diweddu gyda'r ieuengaf. Yr oedd rhyw ddylanwad nefolaidd yn cael ei deimlo gan bawb yn y lle, a theimlem yn ddiolchgar i Ben Mawr yr eglwys am ordinhâd mor syml, a gwasanaeth mor briodol a phrydferth.

Er y byddai efe yn dyner iawn wrth bechaduriaid edifeiriol, eto safai yn bybyr a dewr dros y gwirionedd a phurdeb buchedd. Ennynid ei ysbryd gan eiddigedd sanctaidd a zêl danbaid dros ogoniant Duw ac anrhydedd achos y Gwaredwr, fel y llefarai â'i enau eiriau a losgent fel tân yn nghydwybodau y rhai euog; ac eto ni ddigiai neb wrtho ef, am y gwyddent ei fod yn dyweyd y gwir ac yn caru eu lles ysbrydol. Y diwrnod ar ol ei gladdedigaeth, adroddwyd i ni yr hanesyn canlynol am dano gan un chwaer grefyddol berthynol i'r eglwys, a eglura i'r byw yr hyn a ddywedasom am ei onestrwydd a'i gydwybodolrwydd yn ceryddu pan fyddai achos. Pan mewn cyfarfod gweddïo, a phawb yn canu gyda blâs anarferol yr hen bennill anwyl hwnw, ar y dôn *Tŵrgwyn*:—

> "Mae'r Oen fu ar Galfaria
> Wrth fy modd;
> Efengyl a'i thrysorau
> Wrth fy modd," &c.,

ac yntau gyda'i lais soniarus yn cydganu â hwynt, dywedodd ar y diwedd gyda nerth a dylanwad neillduol i'r perwyl hyn:—"Y mae arnaf ofn fod amryw o honoch chwi yn canu celwydd. Pe byddai yr Oen fu ar Galfaria wrth eich bôdd, nid aech chwi byth i'r manau yr ydych yn arfer myned iddynt." Dywedodd hyn gyda'r fath ddifrifwch nes y gwelwai rhai ger ei fron. Uniawn y dywedodd Skakespeare, "Conscience makes cowards of us all."

Cyn terfynu, ceisiwn roddi byr-ddesgrifiad o hono fel pregethwr, yn yr hyn orchwyl

y rhagorai ar ei holl gyflawniadau eraill. Wrth edrych dros ei lyfrau yn ei fyfyrgell, canfyddem mai yr hen awduron a ddarllenai ac a astudiai efe fwyaf, a chaffai ynddynt hwy borfa fras. Arferai am flynyddoedd gyfansoddi ei bregethau yn lled fanwl, ac ysgrifenai hwynt yn ddestlus. Nid ymddengys fod cyfansoddi pregeth yn llafur caled iddo, ond yn waith pleserus. Gwelsom ef lawer gwaith yn eistedd yn y gadair freichiau gyda llyfr un o'i hoff awduron yn ei law, a phibell yn ei enau, ac yn y man yn cau ei lygaid gan adfyfyrio ar yr hyn a ddarllenai; fel y fuwch ar ol pori yn cnoi ei chil; ac wedi cael y defnyddiau i drefn a ffurf briodol, ysgrifenai ei feddyliau i lawr yn y ffurf o bregeth, a thraddodai hi tra yn ffrès yn ei gof a newydd yn ei ysbryd. Ië, clywsom ei fod yn aml yn cyfansoddi pregethau wrth drafaelu yn ei gerbyd i'w gyhoeddiadau Sabbothol. Ac fe allai mai hyny oedd yn ei wneyd pan gyfarfyddodd â'r ddamwain a brofodd yn angeu iddo. Meddyliai yn glir a siaradai yn groew. Efe a agorai ei enau wrth ddysgu y bobl, megys ag y dywedir am Grist yn gwneyd wrth draddodi ei bregeth ar y mynydd.

Yr oedd o ran ei berson yn meddu ymddangosiad golygus, corff cryf a chadarn, pen lled grwn, talcen uchel, gwyneb siriol a phrydferth. Yr oedd ganddo lais clir a soniarus, a swniai fel udgorn arian, nid annhebyg, fe ddywedir, i lais y diweddar Barchedig Thomas Richards, Abergwaun, yr hwn oedd yn ewythr iddo. Yr oedd yn bleser edrych arno yn y pulpud, gan mor naturiol a glanwedd ydoedd o ran ei ddyn oddiallan, yr hyn oedd fynegai cywir o burdeb y dyn oddimewn. Wedi codi ar ei draed, safai yn syth, a rhoddai yr emyn allan i'w chanu mewn llais hyglyw, gan gydganu â'r dorf. Darllenai y bennod yn eglur gydag arafwch gweddaidd, a gweddïai yn daer, gafaelgar, ffyddiog, ac i bwrpas, fel ag y clywid aml i Amen yn esgyn o galonau cynhes, yr hyn oedd brawf diymwad fod y bobl yn cydweddïo âg ef ac yn talu sylw i'r gwasanaeth. Pan y pregethai syllai pob llygad arno: nid allent lai na gwrando yn ddyfal gan mor fywiog a nerthol y traddodai; yr oedd ei holl ymadferthoedd yn y gwaith. Teimlai a gweithredai fel pe buasai iachawdwriaeth y gynnulleidfa yn dibynu ar ei egni, ei ymroddiad, a'i ddull ef o draddodi y genadwri ar y pryd. Ac eto dibynai yn llwyr am ei lwyddiant ar yr Ysbryd Glân a'i ddylanwadau. Yr eneiniad ar ysbryd y dyn ei hun sydd yn ei wneyd yn un naturiol a dylanwadol yn y pulpud; fel ag y dywed Dr. Edwards, Bala, "Heb yr eneiniad, nid yw dynion ond megis delwau yn symud ac yn siarad trwy rym peiriannwaith."

Yr oedd yn naturiol yn meddu i raddau helaeth yr hyn a elwir gan y Sais yn *humour;* a defnyddiai ef ar brydiau yn y pulpud gyda chanlyniadau hapus iawn. Gallai chwareu ar amrywiol dannau y galon gyda medr digyffelyb nes cynnyrchu llawenydd a dagrau bron ar yr un adeg, cyffelyb i'r desgrifiad prydferth hwnw a rydd y bardd Homer o deimladau un, "He smiles through tears;" a'r cwbl yr ymgyrhaeddai ato oedd perswadio dynion. Yr oedd hyd yn nôd ei *humour* a'i *wit* yn gysegredig i Iesu Grist.

Yr oedd Mr. Richards yn dra gofalus am y lleoedd gweiniaid yn ei Sir ei hun; a chai gymaint croesaw gan eglwysi bychain Sir Benfro âg eglwysi llïosog Morganwg a Chaerfyrddin. Nodwn un engraifft neillduol o hyn sydd hysbys i lïaws yn y Dê. Pan oedd un o flaenoriaid eglwys Woodstock, sef Mr. Harries, Castell Henry, yn cyhoeddi pwy oedd i fod yno yn pregethu y Sabboth dilynol, tarawodd i'w feddwl rywbryd i gyhoeddi yn y dull digrifol a ganlyn:—"Y mae Mr. —— —— i fod yma y Sabboth nesaf, ac y mae Mr. Hwn a Hwn, gan enwi y pregethwr, i fod yma y Sabboth ar ol hyny; ond codwch eich calon, y mae y Parchedig John Richards, Llechryd, i fod yma wedi hyny," yr hyn a barodd ddigrifwch anarferol, ac a gynnyrchodd wênau ar wynebau phawb yn y lle. Arferai ef bregethu yn Nghymdeithasfaoedd y Deheudir, cystal â'r Cyfarfodydd Misol; ac un o'r Cymdeithasfaoedd ólaf y bu ynddi oedd yr un a gynnelid yn Cwm Llansamlet, gerllaw Abertawe yn Awst 1878. Yr oedd efe yn pregethu yno y Sabbóth cyn y Gymdeithasfa gyda nerth a dylanwad anghyffredin, fel ag yr oedd dymuniad cryf am ei glywed drachefn ar y maes ar ddydd mawr yr ŵyl. Ond gan fod yn bresennol yno bedwar o weinidogion enwog a dyeithr o'r Gogledd, dewisai efe yn hytrach beidio pregethu ar y maes, er mwyn rhoddi lle a chyfleusdra i'r dyeithriaid. Pa fodd bynag gofynwyd iddo dechre yr oedfa am ddeg, a gwnaeth hyny yn syml, naturiol, ac effeithiol iawn. Darllenodd y ddegfed bennod o lyfr yr Actau mewn llais clir ac uchel. Ni chlywsom ef erioed yn darllen pennod yn well. Ac wedi hyny gweddïodd am fendith Duw ar yr oedfa hono yn arbenig, ac ar holl waith y Gymdeithasfa. Ar weddi gwnaeth un archiad neillduol a gynnyrchodd ynom ni ac eraill ar y foment deimlad lled anghysurus, ond a newidiwyd yn fuan i deimlad o lawenydd a rhyddhâd. Tybiem ei fod yn arfer iaith annghoeth iawn wrth gyfarch y Goruchaf; ond arnom ni ac eraill yr oedd y bai yn synied felly. Gwyddai efe yn eithaf da beth yr oedd yn ei gylch; yr oedd yr iaith a arferai ar y pryd yn hollol ysgrythyrol. Ar ganol y weddi gwaeddai allan mewn tôn erfyniol, "Arglwydd mawr, dangos dy glun yma heddyw." Wedi clywed hyn, o'r bron y gallem gymeryd ein hanadl nes iddo ychwanegu, "oblegid ar dy glun yr wyt ti yn gwisgo dy gleddyf." Cynnyrchodd yr eglurhâd hwn deimlad hapus iawn; a chlywid Amenau yn esgyn o gannoedd o galonau, a daeth yr hen bennill hwnw, seiliedig ar un o'r Salmau, yn fyw i'n côf:—

"Marchog Iesu yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun."

Wedi iddo orphen gweddïo, trowyd atom gan weinidog dyeithr oedd yn dygwydd eistedd wrth ein hochr ar y llwyfan, yr hwn a wnaeth y sylw canlynol:—"Onid oedd yr hen ŵr yna yn gweddïo yn rhagorol dda?" A phwy a ŵyr nad mewn atebiad i'r weddi hono y

gwisgwyd gweision Duw yn yr oedfa ddeg â'r fath nerth o'r uchelder? Tystiai cannoedd na welwyd y fath effeithiau, ac na theimlwyd y fath ddylanwadau yn cydfyned â phregethu mewn cymanfa er ys blynyddoedd lawer. Yr oedd y gweinidogion a'r blaenoriaid a eisteddent ar y llwyfan eang yn wylo o lawenydd; a lliaws yn y dorf a safai ger bron yn gwaeddi am eu bywyd, a Mr. Richards yntau yn rhwbio ei law ar ben ei ffon, yr hyn oedd yn arwydd o fwynhâd a boddlonrwydd. Yr oedd y diolch, y llawenydd, a'r llefain am fywyd mor uchel a pharhaol nes boddi llais y pregethwr, fel ag y gorfu arno, mewn trefn i allu ymlwybro ymlaen, ofyn iddynt geisio diolch yn ddystaw. Diammheu y bydd coffa am yr oedfa ddeg o'r gloch yn Sassiwn Llansamlet yn nhragywyddoldeb. Cyfarfod bendigedig ydoedd, cyffelyb i'r rhai hyny a gynnelid ar *Green* y Bala, ag y clywsom ein tadau yn sôn cymaint am danynt. Amcan mawr y weinidogaeth oedd dyrchafu Mab Duw. Y pregethwyr oeddynt y Parchedigion T. C. Edwards, M.A., a Hugh Jones, Liverpool. Coffâodd yr olaf wrthym, ddwy flynedd a hanner ar ol hyny, am weddi nodedig Mr. Richards.

Y Cyfarfod Misol olaf y bu ynddo oedd yr un a gynnaliwyd yn nghapel Gethsemane, gerllaw Newport, Sir Benfro, yn haf 1880. Efe oedd yn llywyddu yr amrywiol gyfarfodydd. Mater yr ymddyddan yn y cyfarfod eglwysig ydoedd ffyddlondeb, seiliedig ar yr adnod hono, "Da, was da a ffyddlawn," &c. Siaradodd y llywydd ac eraill yn rhagorol arno. Ychydig a feddyliem ni ac eraill y pryd hwnw ei fod ef mor agos at fyned i mewn i lawenydd ei Arglwydd.

Y noswaith cyn ffarwelio â ni, yn niwedd mis Gorphenaf y flwyddyn a enwyd uchod, galwodd arnom ato; a dywedodd wrthym gyda theimlad dwys a llais mwy isel nag arferol, "Y mae'r *boxes* a phob peth yn barod i chwi erbyn y bore. Dyma y tro olaf am byth y caf fi bacio dim i chwi." Synem yn fawr at ei eiriau, ac ymresymem âg ef o barth i'r dywediad hwn ynghylch neshâd amser ei ymddattodiad. Ond efe oedd yn iawn; a diammheu fod ganddo y pryd hwnw yr hyn a elwir mewn ymddyddan cyffredin yn *presentiment of death*, er ei fod yn ymddangos ac yn teimlo yn berffaith iach.

Tueddir ni yma i ddyfynu geiriau y Parch. Daniel Symmons, Abergwaun, a ymddangosasant yn *Maner ac Amserau Cymru*, am Chwefror 2, 1881, gan eu bod yn dwyn cysylltiad â'r ymadawedig:—

"Y mae ein cyfarfod blynyddol wedi myned heibio at y lliaws sydd wedi myned o'r blaen. Y mae llawer o gyfnewidiadau pwysig mewn gwlad ac eglwys wedi cymeryd lle oddiar pan ysgrifenais ychydig o hanes ein cyfarfod diweddaf. Ychydig oeddwn yn feddwl y byddai un o'r anwyl hen frodyr oedd yn pregethu gyda llewyrch neillduol yn y cyfarfod hwnw, wedi myned adref i drigfanau gogoniant cyn ein cyfarfod eleni, sef y Parch. John Richards, Llechryd. Cyfeiriais ato y pryd hwnw, sef ei fod yn addfedu yn gyflym i ogoniant, bron gadael yr anial. Yr oedd rhai yn ein beio am hyn, os nid rhywbeth gwaeth; ond gadawaf rhyngddynt hwy a'r amgylchiad. Y mae adgof am y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn hwn yn cynnyrchu ynom deimladau dwysion."

Yr ydym yn meddwl iddo dywedyd wrthym mai un o'r pregethau olaf a gyfansoddodd oedd ar y testun hwnw, "Gwyn eu byd y meirw yr rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd," &c. Cyfeiriai yn aml at awr marwolaeth yn ei bregethau y ddwy flynedd olaf o'i oes, yr hyn a ddengys ei fod ef ei hun yn meddwl llawer am yr amgylchiad, er na siaradai lawer am hyny wrth ei gyfeillion mewn ymddyddan personol. Ei amcan mawr ef oedd cyflawni gwaith y weinidogaeth, a gadael dull, amser, a lle ei farwolaeth yn llaw ei Waredwr mawr.

Gorphenodd ei yrfa braidd yn annysgwyliadwy. Tra ar ei daith i Aberafon, Sir Forganwg, lle yr oedd wedi ei gyhoeddi i bregethu y Sabboth, a phan yn agos i Cydweli, lle y bwriadai adael y gaseg a'r cerbyd, a chymeryd y gerbydres oddiyno ymlaen i ben ei daith, dychrynwyd y gaseg, fel y tybiai efe, gan sŵn ehediad aderyn. Yr oedd efe ar y pryd yn ei harwain at amaethdŷ cyfagos; a thra yn cerdded yn araf wrth ei hochr syrthiodd ef i lawr, a syrthiodd hithau ar y rhanau isaf o'i gorff, ac yn yr ystad hono y buont am oddeutu hanner awr heb neb yn agos atynt. Ond gan fod ei law yn rhydd, llwyddodd i gael gafael yn y gyllell oedd yn ei boced, a pha un y darfu iddo yn raddol ryddhâu y gaseg, yr hon a gododd i fyny wrth ei archiad. Ni theimlai ar y pryd nemawr gwaeth, ac ni thybiai ei fod wedi derbyn niwed. Llwyddodd i gerdded at y tŷ y bwriadai aros ynddo am ychydig, a rhoddodd y teulu caredig bob ymgeledd a allent iddo. Oddiyno aeth gyda'r gerbydres i Aberafon, lle y mae y mab hynaf yn cario ymlaen fasnach eang; ond methodd a phregethu y Sabboth. Ymddygodd blaenoriaid yr eglwys tuag ato yn anrhydeddus a thra charedig, am yr hyn y teimlai yn ddiolchgar. Yr unig wasanaeth a gyflawnodd gydag anhawsder wedi cyrhaedd adref i Lechryd oedd gweinyddu yn angladd y diweddar Benjamin Harries, blaenor hynaf yr eglwys. Dygwyd ef at y tŷ mewn cerbyd, ac o hwnw y llefarodd ychydig eiriau y tro olaf am byth yn gyhoeddus. Dywedir iddo lefaru ar yr achlysur yn dra hynod ac effeithiol, fel pe buasai yn ymwybodol fod amser ei ymddattodiad yntau yn agoshâu. Pan yn rhoddi y pennill hwnw allan i'w ganu,

"Pan ballo ffafr pawb a'u hedd,"

crynai ei lais, symudai ei wefusau, a methai yn lân a myned ymhellach na'r gair "ffafr." Ar ol hyn caethiwyd ef yn gwbl i'w ystafell hyd ddydd ei farwolaeth. Bu Mrs. Richards a'r plant yn ofalus iawn o hono, a gwnaeth y meddygon eu goreu i'w adferu. Wedi gorwedd am oddeutu pum' wythnos, gwaethygodd; ond ni feddyliai y teulu fod y diwedd mor agos hyd o fewn y ddau diwrnod olaf y bu fyw. Cadwodd yr Arglwydd iddo ei ymwybyddiaeth hyd y diwedd. Un o'r pethau olaf a wnaeth oedd cadw seiat, a hyny yn ymyl byd arall, ac yn hono derbyniai rai o'r newydd, ceryddai,

bedyddiai, gweddïai a chanai, yr hyn a brofai mai gyda phethau teyrnas nefoedd yr oedd ei feddwl ef hyd y diwedd. Pan welwyd y gwaed yn dyfod i fyny gwybyddwyd ei fod wedi derbyn niwed tufewnol yn y codwm a gafodd pan gyfarfyddodd â'r anffawd.

Nos Sadwrn cyn ei ymadawiad yr oedd y pryder yn ei gylch yn angherddol. Gofynai i'w frawd yn nghyfraith, sef Mr. J. W. Stephens (U.H.), a fedrent hwy wneyd dim i'w wella; atebodd yntau, "Gwnawn ein goreu i chwi;" ond meddai Mr. Richards, "Dim *odds*, dim *odds*; pob peth yn iawn. Cenwch imi 'O fryniau Caersalem,' &c.,— y lân draw, y lân draw—Calfaria;" a chyda'r gair olaf ar ei wefusau, hunodd yn dawel yn yr Iesu oddeutu wyth o'r gloch bore Sabboth, Medi 26ain, 1880, yn 68ain mlwydd oed.

Y dydd Iau dilynol claddwyd ei weddillion marwol yn mynwent y capel, pryd y daeth torf lïosog ynghyd, yn rhifo rhwng saith cant a mil, fel y tybid. Cafodd gladdedigaeth tywysog. Yr oedd yn bresennol nifer mawr o weinidogion, pregethwyr, a blaenoriaid, perthynol i'r gwahanol enwadau, a rhai o honynt wedi dyfod o gryn bellder. Yr oedd yn dda genym weled dau o weinidogion Eglwys Loegr yn y sêdd fawr, yn gwrando ar weinidogion y Methodistiaid yn cyfarch y dorf lïosog; a diammheu y buasent hwythau hefyd yn dyweyd gair ar yr achlysur difrifol pe gofynasid iddynt, gan mor hoff a pharchus oeddynt o Mr. Richards. Mae arnom hiraeth calon ar ei ol, a theimlir gwagle mawr yn y teulu a'r eglwys am faith flynyddoedd. Cyfoded Duw lawer eraill cyffelyb iddo a fyddant yn weinidogion cymhwys y testament newydd.

---

## MRS. DAVIES, PENLAN, TREGARON.

*Gan y Parch.* John Jones, *Tregaron.*

Ganwyd gwrthddrych ein cofiant yn y flwyddyn 1819. Merch ydoedd hi i William a Catherine Rowlands, Penybont, yn mhlwyf Caron-is-Clawdd. Yr oedd y Rowlandiaid yn ddynion hynod. Mae genym hanes i rai o'r achau hynodi eu hunain fel milwyr. Un o'r cyff yma oedd y Cadben Evan Selby (neu Shelby fel y darfu i'r Americaniaid lygru yr enw), yr hwn a hynododd ei hun yn ei ryfeloedd â'r Indiaid. Mab i'r Cadben Evan Selby oedd y Cadfridog Isaac Shelby, yr hwn a enwogodd ei hun yn myddin Washington, yn amser rhyfel annibyniaeth America. Ac o'r llinach yma y mae y Shelbys presennol o Kentucky wedi hanu; ac nid ychydig o glod i'r teulu ydyw fod Mrs. Stowe wedi gwneyd defnydd o'r enw yn *Nghaban F'ewythr Twm*. Darfu i'r cyntaf o'r Shelbys ymfudo o ardal Tregaron tua'r flwyddyn 1692. Mae genym hanes hefyd i un o'r teulu enwogi ei hun fel pregethwr a duwinydd, sef y Parch. Willam Rowlands, D.D., New York. Ganwyd Mr. Rowlands yn Llundain, ond magwyd ef gan mwyaf yn Penybont. Yr oedd yn ddyn duwiol a galluog iawn. Bu farw Hydref 27, 1866.

Un o'r teulu yma ydoedd Mrs. Davies, a gellir dyweyd ei bod yn deilwng o'r cyff. Yr oedd yn meddu ar ddynoliaeth o'r fath oreu. Yr oedd golwg boneddigaidd arni: yr oedd uwchlaw y cyfartaledd mewn taldra, yn meddu llygaid treiddgar, trwyn Rhufeinig, a gwyneb llawn o fynegiant. Ac yr oedd y dyn oddimewn yn cyfateb i'r dyn oddiallan. Mae yr olwg ar rai yn codi dysgwyliadau uchel ynom; ond wedi dyfod i gyffyrddiad â hwy, a chael mantais i sylwi ar eu hymddygiadau, ac i'w clywed yn ymddyddan, yr ydym yn cael ein siomi ynddynt. Ond ni chawsai neb siomedigaeth yn Mrs. Davies: yr oedd yr allanol yn ddangoseg gywir o'r mewnol. Yr oedd yn feddiannol ar synwyr cryf, ac ar alluoedd meddyliol pell uwchlaw y cyffredin. Yr ydoedd hefyd wedi cael addysg gwell na llawer o'i chyfoedion. Ychydig o ysgolion da oeddynt i'w cael yn y rhan yma o'r wlad pan yr oedd hi yn ieuanc; ac isel iawn oedd syniad yr oes mewn perthynas i addysgiaeth y rhyw fenywaidd. Mae yn wir fod eithriadau i'w cael y pryd hwnw, ac y mae yn ymddangos fod gŵr a gwraig Penybont ychydig o flaen eu hoes yn hyn, fel gyda llawer o bethau eraill. Yr un pryd, nid i'r ychydig ysgol a gafodd pan yn ieuanc yr oedd i ddiolch am ei gwybodaeth. Na, ni wnaed yno ond gosod y sylfaen i lawr, a threuliodd hithau lawer iawn o'i hamser i oruwchadeiladu ar y sylfaen hono. Hefyd, bu ei harosiad yn Llundain am nifer o flynyddoedd yn gryn fantais iddi yn y cyfeiriad hwn. A rhwng yr oll, daeth yn alluog i ymddyddan, darllen, ac ysgrifenu yn Gymraeg a Saesoneg, a hyny yn rhwydd a chywir. Ond addurn yr oll oedd ei duwioldeb. Ni chafodd y fraint o gael ei dwyn i fyny o'i mebyd yn grefyddol; ond daeth i ymofyn aelodaeth eglwysig pan yn bur ieuanc, a chafodd dderbyniad croesawgar iawn gan yr eglwys yn Nhregaron.

Ac, fel y gallesid dysgwyl, yr oedd y ddynoliaeth ardderchog a gafodd, a hono wedi ei diwyllio mor dda, ac yn arbenig felly wedi ei sancteiddio gan ras y nefoedd, yn ei galluogi i droi yn ngwahanol gylchoedd cymdeithas gydag anrhydedd. Yr oedd yn llanw ei lle yn odidog fel gwraig. Ymunodd mewn priodas â Mr. Isaac Davies, Penlan, yn y flwyddyn 1851; a gellir hysbysu na fu priodas erioed yn fwy dedwydd. Yr oedd o dymher lariaidd a phwyllog, yn meddiannu ei hun mewn amynedd, yn "goron i'w gŵr," ac yn llywodraethu ei thŷ yn dda. Ni fyddai un amser yn gwneyd ei meddwl yn fyrbwyll ynghylch dim, ond cymerai hamdden i fesur a phwyso personau a phethau; ac unwaith y byddai iddi benderfynu ar rywbeth, anhawdd iawn fyddai ei symud. Yn hyn yr oedd dirgelwch llwyddiant ei gallu i lywodraethu. Yr oedd pawb yn foddlawn—pob gwas a phob morwyn—i'w llywodraeth. Llywodraethai yn dyner, ac eto nid yn rhy dyner. Teimlad i gyd ydyw rhai dynion, ac y mae hyny yn eu gwneyd yn hynod o ansefydlog; ond yr oedd ein hanwyl chwaer yn meddu rheswm, ac yn cymeryd ei llywodraethu gan

hwnw yn fwy na chan ei theimladau. Hyn sydd yn esbonio cysondeb ei bywyd: yr oedd yn byw yn mŷd rheswm ac egwyddorion, ac felly uwchlaw cymeryd ei harwain gan awelon nwyd a theimlad. Ac nid yn unig yr oedd ei theulu yn well o'i chrefydd, ond yr oedd y dref a'r ardal yn well o honi. Nid canwyll dan lestr ydoedd, ond canwyll mewn canwyllbren. Yr oedd ei gweithredoedd yn dangos ei chrefydd. Nodweddid hi gan lawer iawn o garedigrwydd. Mae'n wir na fyddai yn rhy barod i agor ei llaw i bawb a ddeuent at ei drws i ofyn elusen. Arferai lawer o graffder a phwyll yn gyntaf; ond unwaith yr argyhoeddid hi o wir dlodi ac anghen, nid oedd neb yn fwy parod i gyfranu. "Hi a agorai ei llaw i'r tlawd, ac a estynai ei dwylaw i'r anghenus."

Nid yn fynych y gwelwyd neb yn fwy awyddus am fod yn ddefnyddiol gydag achos Mab Duw. Nid oedd dim yn ormod ganddi i'w gyflawni. Cyfranai yn helaeth ymhob casgliad, a chyfranai hefyd yn llawen. Ni chlywyd erioed mo honi yn achwyn fod y casgliadau yn rhy fynych: ei dywediad oedd, "Gan yr Arglwydd yr ydym yn cael y cwbl, a'n dyledswydd a'n braint ninnau ydyw rhoddi yn ol ein gallu at ei achos yntau." Yr oedd yn llawn iawn o ysbryd cenadol. Darllenai y *Cronicl Cenadol* yn y DRYSORFA bob mis, a hyny gyda blâs, ac yr oedd fel un yn cael gwledd pan fyddai y cenadon yn gallu hysbysu am lwyddiant. Gweddïodd lawer dros y Genadaeth, a chyfranodd lawer tuag ati. Deuai ei charedigrwydd at achos Iesu Grist i'r golwg hefyd yn y duedd lettŷgar oedd ynddi: yr oedd "yn dilyn llettŷgarwch." Ni fyddai yn fwy boddhaol gyda dim na phan yn cael cyfleusdra i lettŷa gweinidogion y gair. Yr oedd croesaw calon iddynt yn Penlan: nid yn unig i'r prif bregethwyr, ond hefyd i'r rhai lleiaf eu dawn a'u talent. Nid oedd heb ei dewisolion mwy nag eraill; ond yn y mater o lettŷa a dangos caredigrwydd, ymddygai at bob dosbarth yn ddiwahaniaeth. Yr oedd yn derbyn ac yn ymgeleddu y gweision er mwyn eu Meistr. "Yn gymaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai bychain hyn, fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch." Ac y mae yn dda genym ddeall fod yr un teimlad yn cael gweithredu arno yn Penlan, gan Mr. Davies a Miss Jones, wedi iddi hi fyned "i fford yr holl ddaear."

Cafodd yr Ysgol Sabbothol golled fawr yn ei hymadawiad hi â'r byd. Gweithiodd yn egnïol am flynyddoedd gyda'r ysgol, a gwnaeth ei cholli fwlch pwysig yn rheng yr athrawesau. Darllenai lawer iawn; gwyddai am y llyfrau goreu, ac astudiai hwynt yn fanwl; ac yr oedd ei chôf mor afaelgar fel mai ychydig iawn o'r hyn a ddarllenai a ollyngid i golli. Y prif lyfrau a ddarllenai, heblaw y BIBL, oeddynt, *Esboniad James Hughes*, *Testament yr Ysgol Sabbothol*, *Esboniad Matthew Henry*, *Y Gwyddoniadur Cymreig*, *Geiriadur Charles*, *Gwaith Gurnal*, *Pedwar Cyflwr Dyn gan Boston*, *Gweithiau Williams Pantycelyn*, Y DRYSORFA, *Pregethau Morgan Howells*, *John Jones, Talsarn*, *Henry Rees*, *ac Edward Morgan*, *Taith y Pererin*, *Cofiant John Jones, Talsarn*, ynghyd a llawer eraill a allesid enwi. Yr oedd dau o awduron eraill ag yr ydoedd yn hoff iawn o ddarllen eu gweithiau, sef Howe a Dr. Owen, ac y mae yn debyg mai ychydig o wragedd Cymru ydynt yn ddigon coeth a dyrchafedig eu meddyliau i werthfawrogi gweithiau y ddau Buritan a nodwyd. Ac wrth ystyried ei bod yn darllen ac yn myfyrio cymaint, nid rhyfedd ei bod yn athrawes mor dda. Mae llawer wedi nychu eu dosbarthiadau trwy ddiogi a difaterwch; ond yr oedd hi yn parotoi yn gydwybodol ar hyd yr wythnos i gyfarfod â'i dosbarth; ac erbyn y deuai y Sabboth byddai ganddi arlwy flasus ar gyfer y rhai oedd dan ei gofal. Yr oedd wedi talu sylw neillduol hefyd i'r dull o gyfranu addysg. Mae llawer o ddynion yn meddu ystôr helaeth o wybodaeth eu hunain, ac eto yn hynod o ddiddefnydd i eraill, a hyny am na ddarfu iddynt dalu sylw i'r gyfundrefn o addysgu. Ac yr ydym yn credu mai dyma un o brif ddiffygion yr Ysgol Sabbothol yn y dyddiau hyn. Ond am Mrs. Davies yr oedd hi yn talu sylw arbenig i'r *dull* o addysgu, ac felly yn llwyddo i wneyd yr ymdriniaeth â gwirioneddau y Bibl yn ddyddorol ac adeiladol i'r dosbarth.

Nodwedd arall a berthynai i'n hanwyl chwaer ydoedd gofal neillduol am bob moddion o ras. Anfynych iawn y byddai yn absennol; a phan y dygwyddai hyny, gellid bod yn sicr fod rhywbeth allan o le yn amgylchiadau y teulu. Yr oedd ganddi feddwl mawr o'r cyfarfod gweddi. Ceir llawer o grefyddwyr yn bur ofalus i bresennoli eu hunain ymhob cyfarfod pregethu, ond yn esgeulus iawn o'r cyfarfod gweddi. Ond pwy bynag a fyddai yn absennol, byddai gwrthddrych ein cofiant yn bresennol, a theimlir chwithdod mawr ar ol ei "hy" a'i "hamen" cynhes. Nid ydym yn cofio i ni weled ei gwell chwaith am wrando pregeth Yr oedd edrych ar ei dull effro a bywiog yn gwrando yn gymhorth mawr i'r pregethwr. Medrai wahaniaethu rhwng pregeth a phregeth—rhwng y gwych a'r gwael: yr oedd ei deall yn oleu, a'i barn yn glir, mewn perthynas i byncian sylfaenol Cristionogaeth, ac yr oedd ei chwaeth yn llawer mwy coeth na'r cyffredin. Er hyny nid oedd yn un anhawdd i'w boddhâu. Byddai pregethu syml, clir, a difrifol, yn gymeradwy ganddi bob amser. Ni chlywsom hi erioed yn achwyn ar weinidogaeth felly, hyd yn nôd pan yn bur gyffredin o ran meddwl a threfn. Ond clywsom hi fwy nag unwaith yn cwyno pan wedi bod yn gwrando ar bregeth heb braidd ddim meddwl ynddi, ac eto wedi ei gwisgo mewn iaith chwyddedig a gorfarddonol, yn lle yn iaith syml y Bibl. Ac yn wir, y mae defnyddio iaith felly i geisio cuddio tlodi meddyliol yn anfaddeuol. Ond fel yr awgrymwyd, yr oedd Mrs. Davies wrth ei bodd yn gwrando yr efengyl yn cael ei gosod allan yn ei symledd ei hun. Ac fel y dywedodd y diweddar Barch. Abraham Oliver ddiwrnod ei chladdedigaeth, "Pwy all ddirnad ein colled pan y mae cymeriadau o'r fath yma yn cael eu cymeryd oddiwrthym!"

Cyfarfod gwerthfawr iawn yn ei golwg ydoedd y cyfarfod eglwysig. Yr oedd yn

hynod hoff o'r enw a roddwyd gan yr hen dadau ar y cyfarfod hwn, sef *society* profiad. Arferai ddyweyd ei phrofiad yn fynych, ac yr oedd ganddi brofiad gwerth gwrando arno. Mae cysylltiad agos rhwng gwybodaeth a phrofiad. Nis gellir dysgwyl i'r dilafur am wybodaeth fod yn feddiannol ar brofiad uchel. Yr oedd ein chwaer ymadawedig yn wybodus ac yn brofiadol. Darfu iddi brofi pethau nerthol iawn, ac yr oedd yn ddigon gonest a gwrol i fynegu i'r eglwys yr hyn a wnaeth Duw i'w henaid. Nid yn aml y clywodd neb hi yn ammheu diogelwch ei chyflwr. Gwyddai yn dda am ddichellion y diafol, ac am anghrediniaeth a llygredigaeth y galon. Ond er crynu ac ofni lawer diwrnod, eto nid yn fynych y byddai yn ammheu ei hawl yn Nghrist. Llawer gwaith y dywedodd, "Er nad yw fy nhŷ i felly gyda Duw, eto cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi;" ac, "Mi a wn i bwy y credais." Yr oedd ei duwioldeb yn amlwg a diammheuol; "dinas ar fryn ni ellir ei chuddio." Ac yr oedd barn uchel yr eglwys am dani, ynghyd a'i gallu hithau i siarad, yn peri fod pob boddlonrwydd iddi i gymeryd mwy o ran yn nghyfarfodydd yr eglwys nag a ganiateir yn gyffredin i wragedd. Yr hyn ydoedd Phebe yn eglwys Cenchrea ydoedd hithau yn eglwys Crist yn Nhregaron.

Ond amser ei hymddattodiad a nesaodd; ac yr oedd yn hawdd gweled ei bod y blynyddoedd olaf o'i hoes yn addfedu yn gyflym i wlad well. Cafodd gystudd maith, ond nid poenus iawn—y *bronchitis* i ddechre, a darfu i hwnw arwain i'r darfodedigaeth. Yr oedd hithau yn deall ei bod yn marw fisoedd lawer cyn i'r amgylchiad gymeryd lle. Treuliodd amser hir megys wyneb yn wyneb âg angeu. Blinwyd hi yn fawr tua dechre ei chystudd gan ofn y nefoedd. Cafodd lonydd hollol gan ofn uffern. Ond yr oedd meddwl am sancteiddrwydd y nefoedd ymron a'i llethu. Mae yn debyg fod llawer iawn o'r dynion duwiol mwyaf meddylgar yn teimlo yn gyffelyb. Ond un bore daeth yr adnod hono i'w meddwl gyda'r fath oleuni a grym, "A gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod," nes iddi golli ofn y nefoedd yn llwyr. Treuliodd y misoedd olaf o'i chystudd yn hynod o hamddenol: "ni frysia yn hwn a gredo." Maes penaf ei myfyrdod yr adeg yma ydoedd Ioan xiv—xvii. Wrth edrych dros ei Bibl, gwelir fod degau o adnodau yn y pennodau y cyfeiriwyd atynt wedi eu nodi allan ganddi fel yr adnodau oeddynt yn gweini cysur iddi, ac yn ei chynnal yn y glyn. Gwelir hefyd fod ei *Llyfr Hymnau* wedi ei fritho â nodiadau. Ac wrth fyfyrio ar yr adnodau a'r emynau, a chymdeithasu â'r Arglwydd Iesu trwyddynt, yr oedd yn casglu nerth bob dydd. "Er llygru ein dyn oddiallan, er hyny y dyn oddimewn a adnewyddir o ddydd i ddydd." Teimlai hithau yn ddigon gwrol ambell ddiwrnod, yn nerth yr Hwn a'i carodd, i herio y gelyn: "O angeu! pa le mae dy golyn? O uffern! pa le mae dy fuddugoliaeth?" A dydd Sadwrn, Mehefin 28, 1879, hi a hunodd yn yr Iesu, yn 60 mlwydd oed. Ollwyd hi oddiyma, a chafodd yn helaeth "fynediad i mewn i dragywyddol deyrnas ein Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist."

Dydd Iau, Gorphenaf 3, daeth cannoedd o'i chydnabod a'i pherthynasau ynghyd i gludo ei rhan ddaearol i fynwent y Methodistiaid Calfinaidd yn Nhregaron. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. D. R. Williams, Llanbedr; John Williams, Aberystwyth; Abraham Oliver, Dewibrefi; ynghyd a'r ysgrifenydd.

## Amrywiaethau.

### DYSGU ODDIWRTH GOLLED.

ADRODDIR am farsiandwr yn Llundain iddo mewn un flwyddyn golli dwy long; a chan nad oeddynt wedi eu hyswirio, nid oedd ei holl golled yn llai na thriugain mil o bunnoedd. Yr oedd efe wedi arfer tanysgrifio pum' punt at un o'r cymdeithasau cenadol. Dau foneddwr yn casglu at y gymdeithas, wedi clywed am y golled, oeddynt yn petruso galw gydag ef. Yr oedd un o honynt yn meddwl y byddai yn angharedig ynddynt fyned ato i ofyn am ei rôdd, tra yr oedd y llall o'r farn y gallai efe dybied eu bod yn ei ddibrisio os aent heibio iddo heb alw; ac yn ol barn yr olaf y gwnaed. Galwasant ac adroddasant eu neges; yntau a ysgrifenodd *cheque*, ac a'i hestynodd i un o honynt, yr hwn wedi edrych a ddywedodd, "Syr, chwi a wnaethoch gamgymeriad; pum' punt a fyddech chwi yn eu rhoddi; ond y mae hwn am hanner can'-punt." "Ydyw, mi wn," oedd yr ateb; "ond nid camgymeriad ydyw; mae'r môr wedi llyncu i fyny lawer o'm heiddo y flwyddyn hon; ac yn awr yr wyf yn bwriadu rhoddi mwy i'r Arglwydd."—*The Grace of Giving, by Duncan M. West.*

### YR HEN BREGETHWYR.

A OES genym ni yn y dyddiau hyn ddynion tebyg i'r efengylwyr rhyfedd oedd gan' mlynedd yn ol? A oes genym ni neb o gyffelyb ddoniau a grasusau —neb yn pregethu a gweithredu fel Whitefield, Wesley, Grimshaw, Romaine, Berridge, Rowlands, Venn, Walker, Hervey, Toplady, a Fletcher? Y mae hwn yn gwestiwn difrifol iawn. Yr wyf yn ofni nas gall fod ond un atebiad. Nid oes genym neb yn dyfod i fyny yn drwyadl i safon y gwŷr hyn. Nid ydym mewn pregethu yn dyfod i fyny i farc Whitefield a Daniel Rowlands, ac nid ydym ychwaith mewn symlrwydd amcan, diwydrwydd, hunanymwadiad, a gwroldeb sanctaidd, yn dyfod i fyny yn ogyfuwch â'u cymdeithion. Y mae yn gasgliad athrist, ond y mae arnaf ofn mai gwir ydyw. Pa beth gan hyny sydd i'w wneuthur? Nid oes ond un ateb. Rhaid i ni ofyn iddo Ef, yr Hwn sydd yn dal y sêr yn ei ddeheulaw, am iddo fywhâu ei waith ymysg ein gweinidogion, a chodi dynion cymhwys i'r amserau. Gall efe wneuthur hyny; ac y mae yn barod i wneyd, ond ei fod yn dysgwyl i ni ddeisyf arno. Yna bydded i bawb sydd yn gweddio lefain nos a dydd ar Arglwydd y cynauaf, "Arglwydd, anfon weithwyr i'th gynauaf."—*Dr. Ryle, Esgob Liverpool.*

### RHYDDID A RHAID.

YR oedd hen ddirwestwr da yn ceisio perswadio gŵr ieuanc i lawnodi yr ardystiad llwyrymattaliol, yr hwn a ddywedai, "Nid af fi mor ffol ag i arwyddo ymaith fy rhyddid; na! ni lawnodaf fi mo

ddirwest." "Paham na wnewch?" ebe'r dirwestwr. "Wel, pan gyfarfyddaf â chyfaill yn yr hwyr, mae yn rhaid i mi fyned i gymeryd glasiad gydag ef." "Hô, ho! *rhaid* i chwi, ai ïe? mi welaf eich bod chwi wedi colli eich rhyddid eisoes." Dyna fel y clywyd llawer; yr oeddynt yn bostio nad oedd un *pledge* yn eu rhwymo hwy, eu bod hwy yn rhydd, wrth gwrs; ac eto yn awr ac eilwaith dywedent fod yn *rhaid* iddynt yfed "er daioni i'r tŷ," neu ar gymhelliad cyfaill, neu rhag ymddangos yn ôd mewn cwmni; ac felly nid oeddynt ar ol y cwbl ond slafiaid o dan rwymau. Ddarllenydd, myn di sefyll yn y gwir ryddid a'th adawo yn rhydd i beidio yfed y ddiod feddwol yn wyneb pob temtasiwn i wneuthur hyny.

DAVID EVANS, ABERAERON.

Mae Ffosyffin, Sir Aberteifi, wedi bod yn enwog am fagu pregethwyr. Y Parch. David Evans, Aberaeron, oedd un a gododd yma. Yr oedd ei rieni ef ymhlith yr aelodau a ddaeth o'r Neuaddlwyd gyda'r Parch. Thomas Gray. Ni chafodd David Evans grefydd nes yr oedd wedi priodi, a myned i fagu plant; ac un o'i blant a fu yn foddion tröedigaeth iddo, ac yn ddechreuad ei ddefnyddioldeb mawr dyfodol. Yr oedd ei fab, Benjamin Evans, Aberaeron, yn arfer dyweyd na wyddai efe am neb tebycach i'r apostol Paul na'i dad, gan iddo gael crefydd, myned i'r weinidogaeth, a phregethu yn Nghyfarfod Misol ei sir, a'r oll mewn llai na chwarter blwyddyn. Llosgi a wnaeth un ferch fechan iddo; ac effeithiodd hyny gymaint arno nes iddo yn union fyned i ofyn bendith ar ei fwyd, a dechre ar y ddyledswydd deuluaidd. Ac mewn teimladau anghyffredin aeth i'r seiat at yr hen Gray: ac wrth ymddyddan âg ef amryw weithiau, gwelodd Mr. Gray ddefnyddiau ynddo, a chymhellodd ef yn union i ddechre pregethu. Daeth allan ar unwaith yn seren ddysglaer; a pharhaodd i lewyrchu De a Gogledd am y tymmor o ugain mlynedd, sef o 1805 hyd 1825.—*Y Parch. John Evans, Abermeurig.*

PRESBYTERIAD O'R IAWN RYW.

Y mae henuriad Presbyteraidd yn byw yn Yarmouth, Nova Scotia, sydd, er yn zelog dros y *Westminster Confession*, yn ddigon rhyddfrydig i fyned yn awr ac eilwaith i gyfarfodydd perthynol i'r brodyr Wesleyaidd ac enwadau eraill. Yr oedd efe yn wyddfodol yn ddiweddar mewn cyfarfod gweddi gan y Wesleyaid, a gynnelid yn barotoadol i wasanaeth canmlwyddol er coffâu cynnydd Methodistiaeth Wesleyaidd yn Nova Scotia. Cafwyd anerchiad yn y cyfarfod gan y gweinidog, yn cyfeirio at lwyddiant mawr yr eglwys Wesleyaidd, ac at ei sylfaenydd clodwiw, John Wesley. Dywedai gyda diolchgarwch fod heddyw gymaint a chant a naw o weinidogion Wesleyaidd yn Nova Scotia. Yn niwedd y cyfarfod, galwai y gweinidog ar yr hen frawd Presbyteraidd i derfynu trwy weddi. Yr henuriad a ufuddhäodd; ac yn ei weddi, wedi iddo ddiolch am yr amryw bethau daionus yr oeddynt newydd eu clywed "am y drigfa hon o fynydd Sïon," efe a chwanegodd gyda phwyslais neillduol, "O Arglwydd, yr ydym yn diolch i ti am John Wesley, ond yn enwedig yr ydym yn diolch i ti am John Knox. Diolch i ti am y cant a naw o weinidogion Wesleyaidd yn y wlad hon; ond yr ydym yn diolch i ti yn enwedig am y cant a thri ar ddeg o weinidogion Presbyteraidd sydd yn pregethu gair y bywyd trwy ein tir." Iawn y dywedai ysgrifenydd yr hanes hwn yn *Harper's Magazine*, "Ni chyll Presbyteriaeth ddim o'i dysgleirdeb oddiar law *elder* o ddifrif, hyd yn nôd mewn cyfarfod gweddi Wesleyaidd."

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## SHANGPOONG.

Mae pob un o'r cenadon yn cyfeirio yn eu llythyrau gyda theimlad dwys at brofedigaeth chwerw Mr. a Mrs. Evans trwy farwolaeth eu bachgen bach, yr ail a gollasant er pan y maent ar y maes cenadol. "Yr oeddynt wedi ei gymeryd i Mawphlang yn nechre mis Medi," meddai Mr. Hughes, "ond er pob gofal gwelodd yr Arglwydd yn dda ei gymeryd ymaith. Gallodd Mr. Roberts, Mr. Jerman Jones, a minnau fod yn ei angladd." Mewn llythyr o Shangpoong, dyddiedig Tachwedd 23ain, hysbysai Mr. Evans ei fod wedi dychwelyd i'w orsaf ar y 15fed o'r mis, a'i fod yn cael pethau yn debyg i fel yr oeddynt pan y gadawodd hi. Mae deg neu ddeuddeg o'r ieuenctyd wedi dysgu Epistol Iago, a rhai gwragedd mewn oed yn dysgu y llyfr eu goreu. Dywed fod y gwaith yn cynnyddu, ac er nad yw y cynnydd ond bychan a graddol, ei fod yn un da. "Yr oedd ein cyfarfodydd yn y farchnadfa wedi cael eu rhoddi i fyny yn ddiweddar oblegid y gwlaw, ac yn benaf o herwydd prysurdeb y cynauaf; ond yr wythnos ddiweddaf, wedi cael y ddau rwystr uchod oddiar y ffordd, dechreuasom ar ein cyfarfodydd drachefn, a daeth cryn nifer i wrando. Gofynodd amryw o'r gwrandäwyr gwestiynau ar y pethau oeddynt wedi cael eu dyweyd, a thrwy hyny cawsom well mantais i wybod rhediad eu meddwl, ac i egluro Gair Duw iddynt. Mae hyn yn arwydd dda iawn fod y bobl yn dechre sylwi. O'r blaen ni wyddem yn sicr a oedd y bobl yn talu sylw i'r pethau oeddym yn ddyweyd ai peidio. Yr wyf yn gweled fod y rhai mwyaf dwl yn deall cwestiwn ac ateb iad yn llawer gwell na phan y mae un yn siarad yn ddifwlch."

Ionawr y 1af, ysgrifenai Mr. Evans drachefn:—

"Tuag wythnos yn ol, daethum yn ol o daith o saith niwrnod a wnaethum i Ralliang, Bhoi, Sohpai, Mawlyber, Iankiat, a phentrefi bychain eraill. Arosasom y noswaith gyntaf yn Ralliang, a defnyddiasom y cyfleusdra i wrando y bechgyn yn darllen, ac i ganu gyda hwy. Y mae pymtheg o fechgyn yn myned i'r ysgol yno yn rheolaidd. Mae pedwar o honynt yn llanciau dros ugain oed, a'r lleill yn amrywio o ddeg i bymtheg oed. Mae yno ddau yn

darllen yn eu Testamentau, ac yn darllen yn bur dda; mae un arall yn darllen yn y llyfr, *Tyred at Iesu*, wedi ei gyfieithu i'r Khasiaeg; mae pump eraill yn darllen yn yr *Holwyddoreg*, a'r lleill yn sillebu, ac yn adnabod yr oll o'r llythyrenau. Pan ystyriom mai yn mis Awst y dechreuwyd yr ysgol yno, mae yn amlwg fod y bechgyn wedi gwneyd cynnydd cyflym iawn, a bod yr athraw wedi bod yn ddiwyd gyda hwy. Buom yn canu yn hir gyda hwy, ac yn egluro meddwl y geiriau iddynt. Maent oll yn medru pump neu chwech o'r hymnau ac yn gallu eu canu yn dda. Yr oedd yno amryw eraill yn gwrando arnom yn canu, ac yn ymddangos yn ei fwynhâu. Daeth amryw o bobl y pentref i edrych am danaf, ac yn eu plith rai o'r penaethiaid. Tra yr oeddwn yn bwyta, eisteddodd y bobl allan, rhai yn canu y rhigwm undonog Khasi, rhai yn trin y *betelnut*, a bechgyn yr ysgol yn canu hymnau. Yr oeddwn yn falch iawn fod ganddynt ddigon o wroldeb i ganu hymnau Cristionogol ymhlith eu cyfoedion, a phenaethiaid eu pentref.

Yna crybwylla Mr. Evans iddo fyned i bentref yn Bhoi, lle y bu ysgol unwaith. "Bu yno ysgol am gryn amser, ond rhywfodd aeth i lawr; er hyny y mae yno rai bechgyn yn gallu darllen yn weddol eto, ac yn gallu canu amryw o'n hymnau. Maent yn dyweyd eu bod wedi penderfynu cael ysgol eto mor gynted ag y byddo modd.

"Mae un mab i'r penaeth wedi bod yn Cherra am flynyddoedd, ac y mae yn awr yn athraw yn Mawphlang. Bu un arall yn Shillong gyda Mr. Jones, yr hwn sydd yn awr yn un o benaethiaid y pentref. Bum yn siarad llawer â hwy, ac U Jang (yr un fu yn Shillong) yn cyfieithu. Yr oedd yr oll o'r rhai oedd gyda mi yn Gristionogion o Shangpoong; ac felly yr oeddym yn gallu siarad a chanu gyda'r bobl ymhob pentref. O'r Bhoi aethom i *Sohpai* (corsen siwgr), ac arosasom yno noswaith. Mae tri neu bedwar o deuluoedd yn y pentref hwn eisieu bod yn Gristionogion, ac wedi bod yma eisoes yn gofyn am ysgol. Rhoddodd un o'r teuluoedd yma eu tŷ i mi i aros ynddo, a buont yn garedig iawn wrthym oll. Ar ol bwyta rhoddasom feddyginiaeth i bawb oedd eisieu—oddeutu ugain. Ar ol gorphen ein gwaith y noson, er mwyn difyru ychydig ar ein llettŷwyr caredig, eisteddasom allan yn ngoleuni y lleuad a chenais anthem "Y mab afradlawn," a'r "Cyfiawn a drig yn y nef" iddynt yn Gymraeg. Wrth fy nghlywed yn canu daeth yr holl bentref bron ynghyd drachefn, a buom oll yn canu yn Khasi iddynt ac yn siarad wrthynt, nes cedd hi yn agos i ddeg o'r gloch. Boreu dranoeth drachefn, daethant oll i ofyn i ni ganu iddynt cyn ymadael.

"Oddiyno aethom i Mawlyber ddydd Sadwrn, ac arosasom yno dros y Sabboth. Mae y wlad oddeutu Mawlyber yn lled afiach, a bydd llawer yno yn wael bob amser. Cawsom ysgol ac oedfa yn gynnar, a chyfarfod eglwysig yn yr hwyr; ac yn lle cael yr ail oedfa yn Mawlyber, aethom oll i Wmsaplit i ganu a phregethu. Bu yr athraw a minnau yn siarad, a daeth amryw o bobl mewn oed, heblaw plant, perthynol i'r pentref, i'n plith i wrando. Mae yn debyg iawn eu bod wedi clywed rhai pethau am y Ceidwad a'r grefydd Gristionogol na chlywsant hwynt erioed o'r blaen. Nid oeddwn yn cael fod y bobl yn elyniaethus o gwbl at Gristionogaeth; ac yr wyf yn credu pe gwnelai y Cristionogion fwy â hwy y deuent yn agosach yn bur fuan. Wmsaplit ydyw pentref gwreiddiol bron yr oll o'r Cristionogion sydd yn awr yn Mawlyber. Wedi canu a gweddïo gyda'r holl bentref boreu Llun, ymadawsom am Iangkiat, yn cael ein dilyn gan lawer o'r bobl a'r plant am tua dwy filldir.

"Wrth fyned heibio pentref bychan o'r enw *Salait*, tua milldir a hanner o Mawlyber, daeth amryw o'r bobl i'r ffordd i'n cyfarfod i ofyn i ni fyned i'r pentref i ganu. Nid yn aml yr ydym yn cael gwahoddiad i bentrefi; felly aethom ni o Shangpong ynghyd a'r rhai oedd wedi ein dilyn o Mawlyber, a chanasom amryw hymnau yn y pentref, a'r bobl o'n cwmpas yn gwrando. Wedi hyny, ac ar ol siarad ychydig â hwy, a ffarwelio, aethom ymlaen ar ein taith. Ar ein ffordd, tua milldir a hanner o Iangkiat, yr oeddym yn sathru lle ag yr oedd tiger wedi lladd a bwyta bachgen oedd yn cadw gwartheg ar y ffordd, tua phymthegnos yn ol. Nid yw y bwystfil eto wedi ei ddal; ac y mae bob nos yn gwneyd difrod ar foch, geifr, &c., yn Iangkiat, Heinien-kymai a'r pentrefi cymydogaethol. Yr oedd wedi bod yn ceisio myned i mewn i dŷ gwartheg yn Iangkiat y noson cyn i ni fyned yno; ac ni wnai y Cristionogion adael i mi gysgu fy hunan yn yr ysgoldŷ am ei fod yn beryglus.

"Arholais yr ysgolion yn Iangkiat a Mawlyber; ac yr wyf wedi cymeryd enwau y goreuon a rhoddi gwobrwyon iddynt.

"Yr oedd genym heddyw drwy y dydd gyfarfod diolchgarwch am y cynauaf, a chyfarfod gweddi dechreu y flwyddyn. Yr oedd pob un o'r cyfarfodydd yn rhai cynhes iawn. Yr oedd gafael yn y gweddïau, a bron bob un yn gweddïo yn fwy meddylgar a theimladwy nag y clywais hwy erioed. Gwnaeth y brodorion eu hunain gasgliad o ddeg swllt yn y cyfar-

fodydd, at y capel newydd. Mae rhai eto, oeddynt yn absennol, heb gyfranu. Yr Arglwydd a roddo ei nodded drosom eto y flwyddyn hon, ac a'n gwnelo yn fwy duwiol a zelog. Byddwn yn ddiolchgar iawn i rai o gerddorion Cymru am anfon cynifer ag a allont o anthemau Cymreig, caneuon, &c., yn y Tonic sol-ffa, fel ag y gallwyf wneyd defnydd o honynt. Nid oes dim ammheuaeth na fydd y Khasiaid cyn hir yn genedl gerddorol; ac yr wyf yn credu fod yr amser wedi dyfod i'w harwain yn raddol yn y cyfeiriad yma."

---

## MAWPHLANG.

### Rhan o Lythyr oddiwrth y Parch. Dr. Griffiths.

Ysgrifenai Dr. Griffiths fel y canlyn ar y 29ain o Dachwedd o Shillong:—"Tua tair wythnos yn ol yr oeddym yn cael Swper yr Arglwydd yn Mawphlang. Yr oedd tri, o Mawreng, yn ei gael am y tro cyntaf. Yr oeddwn yn bedyddio y tri hyn, a baban un o honynt, y Sabboth blaenorol yn Mawreng. Y baban hwn ydyw y cyntaf o hâd yr eglwys yn un o'r ddau bentref. Yr oedd Mr. Hughes gyda mi am y Sabboth, a chawsom gyfarfodydd hapus iawn. Rhwng Cristionogion y lle ac ychydig ddyeithriaid yr oedd yno dros ugain o gymunwyr. Y Sabboth diweddaf yr oeddwn yn Mawphlang a daeth cynnulleidfa dda iawn ynghyd, ac nid wyf yn cofio eu gweled yn gwrando mor dda erioed. Yr oedd yno ddau neu dri o Baganiaid lled ddeallus—rhai yn gallu darllen a deall y Bibl, ac yn addef llawer o hono yn wirionedd, ac yn gwrandaw yn achlysurol; ac yr oedd y rhai hyn yn fwy astud na neb.

"Yr wyf yn ddiweddar wedi dyfod i gyfarfyddiad â rhai cleifion pur ddyddorol yn y *Dispensary*. Y mae un yn hen ŵr o Mawreng fyddai yn dyfod yno bob dydd i gael triniaeth i ddoluriau poenus ar ei goes. Pan ddaeth i ddechre yr oedd yn bur galed, ac ymhen amser, ar ol siarad a dadleu llawer, dywedodd ei fod yn gweled o'r diwedd mai ffolineb hollol ydyw ei hen grefydd. O hyny hyd yn awr y mae yn myned i'r capel yn rheolaidd yn ei bentref, ac yn ymddangos yn deall mwy nag y bu. Un arall oedd hen wraig led gyfoethog o bentref bychan i'r gorllewin o Mawphlang. Yr oedd tua blwyddyn yn ol wedi gwario £30 ar seremoniau ac aberthau, i godi maen o dan ba un y cleddid esgyrn y teulu. Ymhen ychydig wed'yn dygwyddodd marwolaethau yn y teulu oedd yn gwneyd y peth yn waharddedig, a bu raid dryllio y maen, ac yr oedd yr holl seremoniau a'r costiau yn myned yn ofer. Edrychai yr hen wraig ar hyn fel barn Duw arni am rywbeth neu gilydd nas gallai ei aberthu, ac er *bribio* pob cythraul a allai feddwl am dano, ei fod yn y *secret* ac yn gwybod y rheswm paham, nis gallodd gael allan yr achos. Ceisiais ddangos iddi mor bechadurus ydyw derbyn pobpeth gan Dduw, ymborth, dillad, arian, plant, &c., ac eto ei holl aberthau yn cael eu rhoddi ar allor Satan; ac yn enwedig yn gwneyd hyny pan y mae Duw wedi anfon ei air, a phob cyfarwyddyd angenrheidiol pa fodd i'w addoli, i'r wlad er ys 40 mlynedd; ac fod yn ddigon posibl fod Duw er mwyn ei gwahanu oddiwrth y fath bechod yn dyrysu arferion ei chrefydd. Ymddangosai hyn yn ddigon naturiol iddi, yn enwedig ar ol clywed pa beth sydd yn Ngair Duw am aberth ei Fab sydd yn ddigon unwaith am byth dros y Khassi yn gystal a'r dyn gwŷn. Addawodd feddwl am y peth a cheisio gwneyd yn ol argyhoeddiad ei chydwybod. Gobeithio y bydd i Ysbryd Duw oleuo ei chalon dywyll, a'i harwain at y Gwaredwr. Daeth ataf oblegid poen mawr yn yr ystymog, oedd wedi dechre er ys dwy flynedd. Ymhen ychydig ddyddiau aeth adref yn hollol ddiboen. Nid oedd meddyginiaeth wedi bod yn ei genau *erioed* o'r blaen. Gall fod yn ddyddorol i rywrai, hwyrach, wybod pa beth a wnaeth y fath gyfnewidiad,—dim ond ychydig *santonine* a *castor oil*.

"Er pan wyf yma yr wyf wedi gweled y ddau ysgoldŷ newydd a adeiladodd Mr. Jerman Jones. Yn wir, y maent yn ardderchog, yn adeiladau da, cryfion, wedi eu toi â haiarn, ac mewn lle ysgafn; y ddau ysgoldŷ a'r capel ochr yn ochr, yn gwynebu y *station* Ewropëaidd, ac yn agor i brif-ffordd pentref Mawkhar, ac i'w gweled o bob man yn Shillong. Y mae digon o le ynddynt i amryw gannoedd o blant, ac nid wyf yn meddwl y gall un *sanitary office* eu condemnio."

---

## JIWAI.

Crybwylla y Parch. John Jones am farwolaeth amryw o'r aelodau eglwysig, y rhai y credir am danynt fod eu marwolaeth yn golled i'r eglwys yma, ond yn ennill iddynt hwy. Rhydd hefyd hanes taith a gymerwyd ganddo ef a'r efengylydd U Jang trwy y Dosbarth. Mae ychydig o arwydd adfywiad mewn rhai o'r eglwysi. Mae ychwanegiad o bump at eglwys yn Sohka. Yn Syndai bedyddiwyd pump o rai mewn oed a dau o blant, a derbyniwyd chwech i gymundeb. "Synwyd fi," meddai y cenadwr, "gan atebion deallus

aelodau yr eglwys fechan hon pan yn eu holi ar yr ordinhâd. Yr oedd yn amlwg fod yr athraw a hwythau wedi bod yn llafurio cryn lawer yn yr *Hyfforddwr*. . . . Cyn gadael Syndai dylwn ddyweyd i mi fedyddio un o'r genethod Bengalaidd sydd dan ofal Mrs. Brownlow (merch y Parch. T. Jones, ein cenadwr cyntaf), ac i saith o'r teulu, yn cynnwys Mr. a Mrs. Brownlow a phump o'r plant gyfranogi o Swper yr Arglwydd. Da genyf eto allu dyweyd fod Mr. a Mrs. Brownlow yn parhâu i gyfranu addysg grefyddol i'w plant hwy eu hunain a'r plant Bengalaidd, ac i mi gael llawer o bleser yn eu holi a chlywed eu hatebion. Mae y gwaith yn Nyrtiang yn parhâu i fyned rhagddo yn y pentref Cristionogol. Derbyniwyd pedwar i'r eglwys yno yn ddiweddar. Pregethasom a chanasom gryn lawer yn ystod ein taith, a chawsom dderbyniad caredig gan bawb ymhob man."

---

## DOSBARTH KHADSAWPHRAH.

LLYTHYR ODDIWTH Y PARCH G. HUGHES, DYDDIEDIG RHAGFYR 4YDD, 1882.

GAN fod y cynauaf reis drosodd, ac felly fod gan y bobl hamdden ac amser iddynt eu hunain, aethum am dridiau o daith i bentrefi sydd rhwng y lle hwn a Mawdem. Bore ddydd Mawrth diweddaf, aethom yn fyntai yn cynnwys rhai brodyr oddiyma a Nongthymai, a nifer o enethod perthynol i'r ysgol yma, i Mawpyniaw, pentref pur fawr sydd ar derfyn y goedwig sydd rhwng y Bryniau a Gwastadedd Assam. Ni bu yma erioed ysgol ddyddiol, ac ni ymwelwyd âg ef o'r blaen gan genadwr nac efengylydd. Cyrhaeddasom yno erbyn tua thri o'r gloch y prydnawn. Nid oedd yno ond merched a dau dorwr wyau, oeddynt wrthi eu goreu yn ymofyn â'r ellyllon ar ran un oedd yn glaf yn un o'r tai. Yr oedd y meibion oll yn y caeau yn casglu *krai*, math o rawn a ddefnyddir yn benaf i wneyd y diodydd meddwol. Nid oedd neb yn barod i'n derbyn i dŷ am gryn amser, a phawb yn edrych braidd yn gilwgus arnom. O'r diwedd cafwyd tŷ bychan gwag i roddi i fyny am y nos. Yn yr hwyr ar ol i bawb ddychwelyd a bwyta, galwodd y Sirdar y bobl ynghyd. Gwnaed tahllwyth o dân coed ar ganol y pentref am ei bod yn bur oer, ac ymgasglodd cynnulleidfa dda ynghyd o'i amgylch. Treuliwyd y cyfarfod yn rhydd ymddyddan i egluro yr efengyl ac ateb gwrthddadleuon, ac i ganu. Hollol ddifudd fuasai traddodi dim yn y ffurf o bregeth, ni ddeallasai y bobl mo honom; ond wrth gydymddyddan yn bwyllog a rhwydd yr oeddynt yn cael rhyw amgyffred beth oedd yr efengyl a'r pwysigrwydd o'i derbyn. Buom ynghyd hyd yn hwyr bell yn y nos, ac ymadawyd yn gyfeillgar iawn gan ysgwyd dwylaw. Bore drannoeth daeth y Sirdar âg iar yn anrheg i mi er dangos eu hewyllys da. Yna cychwynasom am Wahrit. Yr oeddwn yn teimlo ein bod wedi gwneyd argraff ffafriol ar bentref Mawpyniaw, ac yr oedd y brodyr yn dyweyd pan aem yno eto eu bod yn sicr na dderbynid mo honom mor oeraidd ag y gwnaed ar ein mynediad i'r pentref y tro hwn. Pa un a wnaed rhyw les parhäol nis gwyddom. Yr ydym yn gadael hyny yn llaw ein Meistr. Yr ydym wedi hau yr had da yno gan adael y dwyn ffrwyth yn llaw Duw.

Cawsom daith flinderus i Wahrit drannoeth. Yr oedd yr haul yn boeth iawn, gan ei bod yn wlad lled isel, a'r ffordd yn anwastad; i fyny i ben bryn ac i lawr i waelod y nant drachefn, ar hyd llwybr serth a drwg. Cawsom dderbyniad llawen yma. Rhoddwyd y tŷ lle y byddant yn arfer aberthu at fy ngwasanaeth ar unwaith, a matiau i'w rhoddi ar lawr, a'r bobl eu hunain yn dyfod â choed tân a dwfr at fy ngwasanaeth, fel y buom oll yn bur gysurus tra y buom yno. Ni bu yma chwaith erioed yr un ysgol, er ei fod yn bentref o gryn faint—un o'r rhai mwyaf yn Khadsawphrah. Gan ei fod dipyn o'r neilldu y mae wedi ei adael hyd yn hyn heb wneyd dim i'w efengyleiddio. Bum yno unwaith yn ystod y tymmor gwlyb diweddaf, ond ni chafwyd nemawr dderbyniad. Bu raid i ni oll fwyta ein tamaid yn muarth un o'r tai, a phan yn ceisio efengylu methwyd cael ond tua dwsin o gynnulleidfa, a dychwelyd yn ol yr un dydd. Y tro hwn, fodd bynag, yr oedd yn wahanol. Yn yr hwyr galwyd y pentref ynghyd o amgylch eirias o dân ar ganol y clwt o flaen y tŷ yr oeddym yn aros ynddo, a chafwyd cyfarfod cyffelyb i'r un yn Mawpyniaw, ond yr oeddynt yn ymddangos yn fwy parod i dderbyn y genadwri, ac yr oedd rhai eisieu dadleu hawliau y grefydd Gassiaidd a'r grefydd Gristionogol ar unwaith, a phenderfynu fel pentref pa un a dderbynient. Ond eglurwyd iddynt ein bod ni wedi dyfod yno i egluro pa beth yw Cristionogaeth a gadael y mater iddynt hwy i'w ystyried. Fod crefydd yn beth rhy bwysig i'w benderfynu mewn eiliad fel hyny, ond fod eisieu deall pa beth yw Cristionogaeth, a'i derbyn â'r holl galon, oblegid fod pwys tragywyddol mewn pa grefydd i'w choffeidio. Bore drannoeth drachefn cafwyd cyfarfod yr un modd, ac ymadawyd gan addaw ymweled drachefn cyn hir.

## Llydaw.

RHYDD y Parch. W. Jenkyn Jones yn ei lythyrau diweddaf adroddiadau calonogol iawn am y gwaith sydd yn myned ymlaen yn Kerentrech a Lorient, mewn cysylltiad â'r cyfarfodydd a gynnelir gan Le Groignec a Mr. Kissel. Mae yno ddeffroad ymysg y bobl na welwyd ei gyffelyb mewn unrhyw barth o Lydaw yn y ganrif bresennol. Mae y Protestaniaid hefyd,—y rhai oeddynt yn hollol ddifater ynghylch lledaeniad crefydd, ac yn hytrach yn wrthwynebol i'r hyn a alwent hwy yn broselytiaeth, wedi dyfod i gymeryd dyddordeb mawr yn y gwaith. Mae Mr. Jones wedi bod er ys rhai misoedd yn Rosporden,—pentref rhwng Lorient a Quimper,—lle y mae yn cael cyfleusdra i ddysgu y Frythonaeg, ac y mae ar yr un pryd yn gallu bod yn offerynol i wneyd gwaith cenadol sydd yn peri iddo deimlo yn galonog gyda golwg ar y dyfodol.

---

### SABBOTH CENADOL Y PLANT.

TEIMLA Cyfarwyddwyr y Genadaeth Dramor yn dra awyddus ar fod i bob plentyn perthynol i'n Cynnulleidfaoedd neu ein Hysgolion Sabbothol gael rhan yn y gwaith cenadol am y flwyddyn bresennol, yr hon sydd yn diweddu Mawrth 31ain. Mae llawer o'r plant wrthi yn gweithio yn egniol. Casglwyd gan un bachgen saith oed,—sef Oswall Wynne Jones, Bootle,—y swm o £21 12s. 4c., ac y mae eraill yn gwneyd yn dda. Ni ddylai fod un plentyn heb gael cyfle i *gyfranu* os nad i gasglu. Er mwyn sicrhâu hyn, mae Cyfarwyddwyr y Genadaeth wedi anfon at swyddogion pob un o'n heglwysi, i ddymuno ar fod i'r plant gael mantais i gyfranu at y Genadaeth ar y Sabboth cyntaf neu yr ail o'r mis hwn,—sef Mawrth y 4ydd neu yr 11eg. A fyddai yn ormod dysgwyl ceiniog ar gyfer pob plentyn ymhob Ysgol Sabbothol trwy y Cyfundeb? Hawdd iawn fydd i lïaws o'n plant roddi mwy na hyny. Ond i'r swyddogion fod yn ffyddlawn i ddwyn yr achos hwn yn gynhes i sylw y plant ymhob lle, diau y ceir yn y ffordd hon ychwanegiad pwysig at gyllidau y Gymdeithas.

I. Cofier, (1) fod llwythau lawer yn ymyl Khasia eto heb wybod dim am y Gwaredwr; (2) fod pentrefi lawer yn Khasia a Jaintia eto heb ysgolion ac eglwysi, a rhai o honynt yn dymuno cael athrawon; (3) fod pregethwyr ieuainc yn awr yn barod i fyned allan, ac yn dywedyd "Wele, ni! anfonwch ni;" (4) fod anghenrheidrwydd, er cysur a diogelwch y cenadon presennol, adeiladu tri o leiaf o anneddi-dai newyddion yn fuan; ond (5) fod treuliadau blynyddol y Gymdeithas eisoes yn fwy na'r derbyniadau.

II. Gofaler am wneyd y casgliad ymhob lle yn brydlawn, a'i anfon yn ddioed i'r Trysorydd Sirol, fel y gallo yntau ei anfon erbyn Mawrth y 31ain i'r Trysorydd Cyffredinol.

### AT Y TRYSORYDDION SIROL.

DYMUNIR dwyn ar gof i'r Trysoryddion Lleol a Sirol y rhaid i'r holl gasgliadau y dysgwylir cyfrif o honynt yn yr Adroddiad Blynyddol nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn diwedd Mawrth. Anfoner y rhestrau o enwau y tanysgrifwyr yn ddioed i'r Ysgrifenodd, neu bydd yn anmhosibl iddynt ymddangos yn yr Adroddiad.

---

### DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| O Hermon, Dowlais | 16 | 14 | 2 |
| Trwy law y Parch. D. Jones, Llangeitho, swm oedd yn eiddo i'r ddiweddar Miss Sarah Jones, Cilpyll, ac a gyflwynir gan ei thad tuag at roddi gwobrwyon o Lyfrau Hymnau a Thestamentau i blant yn Khasia, am ddysgu rhanau o'r Ysgrythyr | 4 | 4 | 0 |
| O Abertillery | 0 | 16 | 0 |
| O Henaduriaeth Lancashire | 36 | 4 | 7 |
| O Arfon, trwy law Mr. H. Jonathan | 480 | 0 | 0 |
| O Lundain | 37 | 5 | 6 |
| Casglwyd gan blant capel Maengwyn, Machynlleth | 7 | 16 | 0 |
| Casglwyd gan blant capel Penmount, Pwllheli | 3 | 16 | 7 |
| O Ogledd Aberteifi, trwy law Mr. P. Williams, U.H. | 32 | 11 | 11 |
| Ychwanegol o Leyn ac Eifionydd, trwy law Mr. Jones, U.H., Pwllheli | 50 | 0 | 0 |
| O Ddwyrain Morganwg, trwy law Mr. W. Charles, Trecynon, Aberdare, y Trysorydd Sirol | 6 | 8 | 2 |
| O Orllewin Morganwg, trwy law Mr. Griffith, Taibach | 11 | 3 | 0 |
| Oddiwrth Dr. Williams, Woodlands, Wyddgrug, tuag at yr Ysbytty Meddygol yn Mawphlang | 10 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Mr. E. Richards a'i ddosbarth, Maesteg | 0 | 10 | 0 |
| Oddiwrth "Dienw," tuag at addysgu "U Kher, bachgen cloff" | 1 | 0 | 0 |
| O America, trwy law Uriah Davies, Ysw., Columbus, Wisconsin | 34 | 7 | 10 |
| Oddiwrth "Un o Dreffynnon yn caru yr achos cenadol" | 0 | 10 | [illegible] |
| Oddiwrth Gyfarfod Misol Môn, at y tô haiarn i gapel Shangpoong | 68 | 12 | 7 |

---

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, ESQ., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 630.] EBRILL, 1883. [LLYFR LIII.


## PENARGLWYDDIAETH YR YSBRYD, AC ARWYDDION YR AMSERAU.

GAN Y PARCH. JOHN EVANS, ABERMEURIG.

### I.

Y MAE yr oruchwyliaeth bresennol ar grefydd yn oruchwyliaeth yr Ysbryd. Efe yw y "Dyddanydd arall" a anfonodd Crist i fod yma yn ei le, ac sydd i "aros yma yn dragywyddol." Wrth ei fod yn meddu ar benarglwyddiaeth, y mae i ni ddeall ei fod yn annibynol, ac yn rhydd-ewyllysydd yn ei holl drefniadau; a dyma yr olwg a rydd y Testament Newydd arno ef a'i waith. Ar yr un pryd, nid ydym yn cael lle i feddwl wrth hyny nad yw efe yn gweithredu yn unol â deddfau gosodedig; ond dangosir eu bod yn rhai sydd uwchlaw dynol ac angylaidd. Fel rheswm dros ddyweyd ei fod yn "Ysbryd y gwirionedd," ac yn "tywys i bob gwirionedd," dywed y Mab am dano, "Canys ni lefara o hono ei hun, ond pa bethau bynag a glywo a lefara efe." Yr oedd y Mab yn dyweyd yr un peth am dano ei hun, sef nad oedd yn "llefaru" nac yn "gwneuthur" dim ond fel yr oedd yn "clywed gan y Tad." A dyma ffordd yr Ysbryd o weithredu; gwna yr oll yn ol deddfau y cynghor Dwyfol, o'r hwn y mae efe yn aelod, ac am gyfrinach yr hwn ni ŵyr neb ond efe a'r Tad a'r Mab. Ac wrth ddwyn ymlaen waith teyrnas nefoedd yn y byd, mae efe dan rwymau i weithio y cwbl "yn ol arfaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun." Ond cynghor yr Ysbryd ei hun ydyw, yn gystal a'r Tad a'r Mab; ac felly mae y rhwymau sydd arno yn rhai ag y mae efe wedi eu gosod arno ei hun. Nis gallasai neb ei orfodi i gymeryd y drafferth fawr o "argyhoeddi y byd o bechod, ac o gyfiawnder, ac o farn," a dyfod i "breswylio i galon aflan dyn." Rhwymau ei gariad yw yr oll. Ac nid yw yn briodol dyweyd fod neb yn rhwym, fel ag i fod yn amddifad o ryddid, os bydd gyda phethau yr ymgymerodd â hwynt oddiar gariad ac ymhyfrydiad. Mae "cariad yr Ysbryd" yn ei ysgogi yn ei holl weithrediadau; a "lle y mae Ysbryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid."

Ond nid yn y wêdd yna y mae a fynom â *phenarglwyddiaeth yr Ysbryd* ar hyn o bryd; dim ond yn unig fel y mae yn dal cysylltiad â chynlluniau ac â gweithrediadau yr eglwys ar y ddaear. Yr ydym am ddangos fod yr Ysbryd yn rhydd-ewyllysydd pan yn trefnu, yn arolygu, ac yn effeithioli holl drefniadau crefydd Iesu Grist. Ar yr olwg allanol, ymddengys fod y rhai hyn wedi eu hymddiried i ofal yr eglwys Gristionogol, a bod awdurdod esgobion, cymanfäoedd, pwyllgorau, eglwysi, a phersonau o ddylanwad, yn ddigonol i osod ac anfon, fel y byddont hwy yn gweled yn dda. Yr ochr ddynol sydd amlycaf i ni, ac felly yr ydym yn dueddol i farnu mai am fod dynion wedi trefnu y mae llawer o bethau fel y maent; ac felly byddwn yn eu beïo neu eu canmawl, yn ol natur a thuedd y pethau. Ac os bydd rhyw symudiadau allan o'r cylch cyffredin o awdurdod yn cymeryd lle, ac yn ennill dylanwad, byddwn yn barod i feddwl eu

bod yn afreolaidd, ac na ddylent fod, ac o ganlyndiad y dylem eu gwrthwynebu. O'r tu arall, os bydd dyn neu gynllun yn dyfod gydag awdurdodiad a ystyrir yn rheolaidd, bydd pawb yn parotoi y ffordd o'i flaen, ac yn barod i waeddi yr Abrec enwadol neu gymdeithasol, er galw sylw ato, a galw am ufudd-dod iddo. Nis gellir anghymeradwyo y duedd hon bob amser, gan ei bod yn arwain i ddewis y da a gwrthod y drwg. Mae yn arwain i ymchwiliad fydd yn terfynu weithiau mewn gwneyd i'r dynion goreu ofyn, "Beth yw yr ûs wrth y gwenith?" Ond brydiau eraill, gellir gofyn yn wyneb ymddygiadau llawer at symudiadau newyddion, "Onid ydych chwi dueddol ynoch eich hunain, ac onid aethoch yn farnwyr meddyliau drwg?" Yr hyn sydd beryglus yw, y gallwn wrth feïo fod yn euog o osod bai ar Un mwy na dyn. Dylem gofio yn barhâus nad yw yr Ysbryd yn rhwym wrth hen drefniadau fyddo wedi eistedd yn dawel ar feddyliau dynion, ac nad yw yn rhwym chwaith wrth drefniadau newyddion y byddo llawer o frwdfrydedd yn cael ei amlygu wrth eu canmawl mewn rhai cylchoedd. Gellir dyweyd am yr Ysbryd, "Y mae efe yn un, a phwy a'i try ef? a'r hyn y mae ei enaid ef yn ei chwennychu efe a'i gwna," pa fodd bynag y bydd barn y bobl.

Ar ol i'r Ysbryd ddechre ar ei waith yn ei oruchwyliaeth ei hun, dangosodd mai fel Penarglwydd yr oedd yn gweithredu yn ei holl ymwneyd â meddyliau dynion. Gwnawn yn bresennol edrych ar y prawf a roddir o hyn yn yr oes apostolaidd, a thrwy hyny byddwn yn cael agoriad lled ddiogel i ddeall symudiadau eglwysig oesoedd eraill, ac yn enwedig yr oes hon. Mae lle i feddwl fod y pethau a ysgrifenwyd o'r blaen am oruchwyliaeth yr Ysbryd, yn addysg gyda golwg ar symudiadau pob cyfnod ac oes ynddi. Dangosodd yr Ysbryd ei benarglwyddiaeth mewn pedwar peth neillduol yn nghychwyniad Cristionogaeth: yn newisiad lleoedd i bregethu yr efengyl ynddynt—yn newisiad dynion i bregethu—yn nghyfraniad doniau at bob gwaith—ac yn newisiad personau i'w bendithio â iachawdwriaeth dragywyddol.

1. *Maes pregethiad yr efengyl.* "Y maes yw y byd," medd Iesu Grist. Maes y grefydd Iuddewig oedd gwlad Canaan, ond maes teyrnas nefoedd yw y byd. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." "Ewch gan hyny, a dysgwch yr holl genedloedd." Pan dywalltwyd yr Ysbryd, yr oedd pob darn o'r maes hwn heb ei ennill, fel yr oedd yn rhaid ei arloesi oll cyn y gallai y winwyddden gristionogol wreiddio ynddo, a llanw y tir. Pa gynllun a gymerodd yr Ysbryd tuag at wneyd hyn? Gellid meddwl gan fod yr *holl* fyd i gael ei ennill, a bod hyny eto heb ei ddechre, mai ei gymeryd yn rheolaidd o'r bron a wnelai. Yr oedd Iesu Grist wedi dyweyd rhywbeth yn debyg i hyny, pan ddywedodd fod yr "efengyl i'w phregethu ymhlith yr holl genedloedd, gan ddechre yn Jerusalem," gan roddi lle i ddysgwyl y byddai i'r tân Dwyfol, o'r canolbwynt hwn, gerdded gyda nerth anorchfygol i bob cyfeiriad, nes ennill yr holl anialwch hyd ei derfynau. Ond nid yn gwbl felly y bu. Pan oedd Paul ar ganol ei ail daith genadol, wele yr Ysbryd yn "gwarafun" iddo ef a Silas "bregethu y gair yn Asia," ac wedi iddynt geisio myned i Bithynia, "ni oddefodd Ysbryd yr Iesu iddynt." Yn y cyfamser dangoswyd i Paul mewn gweledigaeth fod cenadaeth dramor yn ei aros, trwy fod gŵr o Macedonia, o'r tu hwnt i'r môr, yn sefyll o'i flaen, ac yn deisyf arno, "Tyred drosodd, a chymhorth ni." Ac ar ol sefydlu eglwysi blodeuog mewn llawer o leoedd, fel yn Laodicea ac Ephesus, yr ydym yn cael fod y canwyllbren nefol yn cael ei symud drachefn o'u mysg. Pa fodd y mae cyfrif am hyn—fod rhai lleoedd yn cael derbyn breintiau yr efengyl o flaen eraill, a rhai o'r lleoedd hyny drachefn yn eu colli o flaen lleoedd eraill oedd yn cael eu hystyried yn fwy dinôd? A gellir dyweyd am agos yr holl wledydd—ymha rai y pregethwyd yr efengyl gyntaf, eu bod yn gorwedd dan gaddug o dywyllwch er ys oesoedd. Paham hyn? A oedd yr olew nefol yn rhy brin i oleuo yr holl wledydd, fel yr oedd yn rhaid ei gymeryd o un lle i oleuo lle arall? Na, nid felly y bu, ac nid felly y mae. Mae rhyw fath o goelbren yn cael ei fwrw yn y mater, a'i lywodraethiad oddiwrth yr Arglwydd. A gall pawb sydd yn meddu breintiau yr efengyl ddyweyd, "Y llinynau a syrthiodd i ni mewn lleoedd

hyfryd, ïe, y mae i ni etifeddiaeth deg." Paham yr aeth yr enwog William Carey yn genadwr i'r India pan yr oedd yn ei fryd am flynyddoedd i fyned i ynysoedd Môr y Dehau? Nid oes atebiad boddhaol i'w roddi ond mai felly y bu iddo ef, fel ag y bu i lawer o genadon ar ei ol. Ond y mae symudiadau yr oes apostolaidd yn taflu gwell goleu ar y pwnc na dim a roddir o gyfeiriadau dynol. Dysgwn fawrhâu breintiau ein gwlad, ac na fyddwn uchelfryd wrth eu mwynhâu, ond ofnwn yr Hwn sydd yn Benarglwydd, rhag iddo, oblegid ein hanwireddau, eu cymeryd oddiwrthym fel y gwnaeth âg eraill. Nid yw wedi rhwymo ei hun wrth wledydd na chenedloedd ond mor bell ag y byddont yn "ofni Duw ac yn gweithredu cyfiawnder."

2. Y *dewisiad o swyddogion.* "Oni ddewisais i chwychwi y deuddeg?" Mae hyn yn dangos fod Crist wedi dewis Judas Iscariot, er y gwyddai ei fod yn "ddiafol." Dewisodd ar ol hyny ddeg a thriugain, ac a'u hanfonodd allan bob yn ddau i bregethu. Syrthiodd yr Ysbryd Glân ar yr un ar ddeg ar ddydd y Pentecost; ond Pedr a ddewisodd efe i bregethu yn gyhoeddus i'r bobl, ac i ddwysbigo tair mil o eneidiau. Yr oedd yr un ar ddeg yn "wŷr anllythyrenog ac annysgedig," a gellid meddwl fod yr Ysbryd yn myned i rwymo ei hun wrthynt, er mwyn cael mwy o ogoniant iddo ei hun. Ond nid felly yr oedd, gan iddo ddewis yn fuan ŵr dysgedig o'r athrofa oreu yn y wlad, a'i wneyd yn offeryn i wneuthur mwy o waith nag un o'i gyd-apostolion, os nad mwy na'r oll ynghyd. Ac mai nid *am* ei fod wedi cael "llawer o ddysg," y galwodd yr Ysbryd ef at ei waith, mae ei dystiolaeth ef ei hun yn ddigon ar hyn. "Trwy y gras a roddwyd i mi." "Trwy yr hwn," sef Iesu Grist, "y derbyniasom ras ac apostolaeth." "I'r hon y'm gwnaed i yn weinidog, yn ol rhodd gras Duw, yr hwn a roddwyd i mi, yn ol grymus weithrediad ei allu ef." *Derbyn* "gweinidogaeth y cymmod" y mae pawb. Nid oedd holl ddysgeidiaeth Paul yn ddim at ei wneyd yn weinidog i Grist, heb iddo hefyd gael derbyn gweinidogaeth y cymmod; ac yr oedd y pysgodwyr anllythyrenog, wedi derbyn hon, yn weinidogion cymhwys y testament newydd fel yntau. Ni chyfyngodd yr Ysbryd weinidogaeth yr efengyl i'r apostolion chwaith. Ond wedi gwneyd "seithwyr da eu gair" yn ddiaconiaid, dewisodd o honynt yn fuan ddau, os nid ychwaneg, i fyned allan yn efengylwyr. Ar y cyntaf gellid meddwl fod yr apostolion yn urdd neillduedig at y gwaith o bregethu; ond dewisodd Crist ddeg a thriugain eraill at hyny; a dewisodd yr Ysbryd y diaconiaid at y gwaith, ac ar ol hyny "Luc y physygwr," a llawer mewn galwedigaethau eraill. Un amcan arbenig i "esgyniad Crist i'r uchelder," oedd gosod "rhai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid, ac yn athrawon;" ac yr ydym yn cael fod y rhai hyn i gyd yn bod yn yr oes apostolaidd.

Nid ydym yn cael lle i feddwl chwaith fod y cymhwysderau at y swyddau hyn i gyd wedi eu cyfyngu i'r rhyw wrywaidd, gan fod hanes am rai benywod yn gweinyddu ynddynt. Fel yr oedd Miriam, Deborah, Huldah, ac Anna, yn brophwydesau cyhoeddus, mae lle i feddwl fod prophwydesau y Testament Newydd felly hefyd. Dywed Paul fod "pob gŵr yn gweddïo neu yn prophwydo, â pheth am ei ben, yn cywilyddio ei ben. Eithr pob gwraig yn gweddïo neu yn prophwydo yn bennoeth sydd yn cywilyddio ei phen." Mae y geiriau yn rhoddi lle i ni gasglu dau beth: yn gyntaf, fod y gwragedd yn gweddïo ac yn prophwydo fel y gwŷr. Nid oes yma ddim gwahaniaeth yn cael ei wneyd rhyngddynt, ond yn unig am orchudd y pen. Mae amcan yr ymadroddion yn dangos mai prophwydo yn gyhoeddus a feddylir; ac nid oes yma yr un bai yn cael ei roddi ar y gwragedd am wneyd hyny, yn rhagor na'r gwŷr. Yn ail, fod *llawer* yn gwneyd hyn. Dichon fod yr arferiad yn ffynu yn Corinth yn fwy nag mewn lleoedd eraill; ond yr oedd yn bod yn y lleoedd eraill hefyd. Yr oedd pedair o ferched gan Phylip yr efengylwr yn prophwydo yn Cesarea; ac nid ydym i feddwl nad oedd rhyw wraig neu wragedd yn arwain yn nghyfarfod gweddi y gwragedd yn Philippi, ac yn codi i fyny i anerch yn y cyfarfod. Dywedir fod Phebe yn weinidoges eglwys Cenchrea, ac anerchir llawer o wragedd eraill yn yr un bennod ag y dywedir am dani hi, a dangosir eu bod wedi cymeryd rhan flaenllaw a chyhoeddus gyda gwaith yr efengyl. Yr oedd Priscilla, yn gystal

a'i gŵr Acwila, yn dysgu i Apolos "ffordd Duw," a geilw Paul y ddau, "fy nghydweithwyr." Ar yr un adeg yr oedd Claudia, y Gymraes enwog, yr hon y cofia Paul ati wrth ysgrifenu at Timotheus, yn preswylio yn Rhufain. Dywedir fod hon yn gydnabyddus â holl lenyddiaeth Groeg, ac iddi hefyd gymeryd rhan helaeth mewn ennill eneidiau at Grist, a hyny pan yn Rhufain, ac wedi dyfod drosodd i Brydain, gyda Brân Fendigaid ei thaid, Caradog ei thad, a Pudens ei gŵr. Yn awr, a oes rhyw reswm neu resymau i'w rhoddi dros fod y gwragedd wedi cael cymaint o le, a hyny ymhlith yr Iuddewon a chenedloedd eraill, oedd yn arfer eu cadw mewn cymaint o ddiraddiad? Mae yn amlwg fod. Yn gyntaf, yr oedd prophwydoliaeth Joel wedi ei chyflawni: "A bydd yn y dyddiau diweddaf, medd Duw, y tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd, a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant, a'ch gwŷr ieuainc a welant weledigaethau, a'ch henafgwyr a freuddwydiant freuddwydion. Ac ar fy ngweision ac ar fy llawforwynion y tywalltaf o'm Hysbryd yn y dyddiau hyny, a hwy a brophwydant." Yma mae y merched a'r meibion, y llawforwynion a'r gweision, ar yr un tir yn derbyn yr Ysbryd, ac hefyd i'r un amcan. Felly nid yw yn rhyfedd fod cynifer o brophwydesau wedi codi o ddiwygiad oedd â golwg neillduol arnynt. A gallwn gasglu yma hefyd, fod goruchwyliaeth yr Ysbryd i *fod* yn bur llawn o brophwydesau, yn enwedig yn ei hadegau mwyaf llwyddiannus. Yn ail, yr oedd sefyllfa cymdeithas yn galw am wasanaeth y merched. Nid oedd yn arferiad yn Asia na Groeg i'r meibion gyfeillachu â'r merched mwyaf rhinweddol, ond yn unig eu perthynasau agosaf, ac felly yr oedd yn anghenrheidiol cael merched i fyned at eu rhyw eu hunain, yn enwedig mewn rhai lleoedd ac ar rai adegau. Mae yr angen hwn yn cael ei deimlo gan Genadaethau Cristionogol yn ngwledydd y Dwyrain hyd heddyw, ac y maent yn y blynyddoedd hyn yn dechre deffro a threfnu er cyfarfod y diffyg. Mae yr oll yn dangos nad yw yr Ysbryd yn rhwymo ei hun wrth urdd, na rhyw, na chredo, ond yn dewis allan y neb a fyno, o'r lle y myno, ar y pryd y myno, ac at y gwaith y myno. Cododd waredwr i Israel o'r Aipht, nid o'u plith eu hunain yn y wlad, ond o dir Midian. Cododd ddiwygiwr i roddi cyfandir Ewrop ar dân, nid o'r mynachod mwyaf eu bri, ond un o waedoliaeth isel, sef Martin Luther, mab i fwnwr tlawd o Eisleben yn Saxony. Pan fyddo eisieu gwneyd rhyw waith neillduol ar yr Ysbryd, nis gŵyr neb pa le yr ä i ymofyn offeryn, hyd nes y byddo wedi ei wisgo yn ei *livery*, ac ymddangos felly ger bron y byd.

3. *Mewn cyfranu doniau.* Wrth edrych ar yr holl swyddogaethau oedd i'w llenwi, a'r amrywiaeth gwaith oedd i'w gyflawni, gellir gweled mai nid peth bychan oedd cael digon o amrywiaeth doniau i gyfarfod yr anghen. Ond erbyn yr eisieu yr oeddynt wrth law. Enwir cynifer â naw o honynt yn yr un lle (1 Cor. xii. 8—10): "A'r holl bethau hyn y mae yr un a'r unrhyw Ysbryd yn eu gweithredu, gan ranu i bob un o'r neilldu, megys y mae yn ewyllysio." Enwir saith hefyd yn Rhuf. xii. 6—8; a dywedir fod y cwbl "yn ol y gras a roddwyd" i bob un. Gwelir yn hyn y rheswm paham yr oedd pob un y peth ydoedd yn ei wasanaeth *i eglwys Crist*. Yr oedd rhai wedi derbyn amryw o'r doniau, eraill lai, ac eraill ddim ond un. Cafodd Pedr, fel llawer o ddiwygwyr, y gallu i argyhoeddi pechaduriaid; ond cafodd Paul y gallu hwn, a'r ddawn neillduol i sefydlu eglwysi, a gosod henuriaid i ofalu am danynt. Yr oedd Barnabas yn gynghorwr medrus, ac Apolos yn ymadroddwr melus a hyfryd. Yr oedd rhai â'r dalent i ysgrifenu efengylau ac epistolau, a'r lleill yn dysgu trwy athrawiaethu ac efengylu. Yr oedd rhai â'r doniau poblogaidd at deithio, a'r lleill wedi eu donio i fod yn fugeiliaid ac athrawon medrus yn eu bro eu hunain. Llawweithfa fawr yw eglwys Crist, lle y mae amrywiaeth mawr o weithwyr, a phob un ei waith ei hun, a'i "briod wobr ei hun." Ac y mae yma hefyd symudiad ymlaen *(promotion)* i fod yn ol graddau y gwaith a'r ffyddlondeb, fel y gellir gwneyd y ddwy dalent yn bedair, a'r pump yn ddeg. Dichon fod rhai o'r doniau yn perthyn i'r oes apostolaidd yn unig, ac i'w rhoddi ar adegau arbenig, ac nad oedd ammodau cynnydd na pharhâd yn perthyn iddynt. Ond nid â'r rhai hyny y mae a fynom yn bresennol; ond y rhai y mae a wnelom â hwy ydyw y rhai y mae pethau

tebyg iddynt yn aros yn yr eglwys o hyd, a'r rhai hefyd nad ydynt yn eglur ond ar adegau neillduol, ac felly i fod yn arwyddion yn amserau yr eglwys a'r byd. Cawn alw sylw at hyn eto wrth fyned ymlaen.

Y mae yr apostol Paul yn dyweyd tri pheth neillduol gyda golwg ar y doniau: (1.) Eu bod yn wrthddrychau i *weddïo* am danynt. Er fod yr un Ysbryd yn rhanu yr oll fel y mae yn ewyllysio, eto cynghora Paul y Corinthiaid i "ddeisyf y doniau goreu." Mae teyrnas nefoedd i'w threisio yn ei doniau, a threiswyr sydd yn ei chipio hi. Pa rai bynag oedd y doniau goreu, yr oeddynt i'w cael mewn atebiad i weddi. Ac y mae lle i gasglu oddiwrth hyn, mai am fod rhai yn well gweddïwyr nag eraill yr oeddynt wedi cael gwell doniau at ddefnyddioldeb nag eraill. Y gweddïwyr goreu oedd â'r doniau goreu. Os oedd rhai am y gallu i ychwanegu at rif yr eglwys o'r rhai a fyddent gadwedig, yr oeddynt i ofyn am dano; ac os oedd eraill am gael y gallu i adeiladu grasusau a defnyddioldeb yr eglwys, yr oeddynt i ddeisyf am dano. Yr oedd ac y mae yr Ysbryd yn cadw digon o ryddid iddo ei hun mewn rhanu doniau, fel ag i wobrwyo y rhai sydd yn deisyf am danynt yn fwy nag eraill. A phwy a ŵyr nad yw llwyddiant ac aflwyddiant gyda chrefydd yn y dyddiau hyn, yn fwy o eglurhâd ar y modd y mae rhwng dynion a gweddïo nag ydyw o ddim arall? (2.) Eu bod i'w harfer tuag at *adeiladaeth yr eglwys.* Nid i foddloni chwilfrydedd, nac i borthi balchder, ond i adeiladu y rhai cadwedig yn eu rhifedi, ac mewn sancteiddrwydd. Dyma yr amcan uchaf y clywodd angel am dano: troi pechadur o gyfeiliorni ei ffordd, ac felly gadw enaid rhag angeu a chuddio lliaws o bechodau. Dyma amcan Iesu Grist yn dyfod i'r byd, ac yn marw dros y byd. A dyma brif amcan pob cristion cywir; am ddoniau at hyn y gweddïant, ac at hyn y gwnânt eu cysegru. Chwyddo rhif canlynwyr Iesu, a chael y ddaear ar wêdd y nefoedd, yw nôd uchaf eu gweddïau a'u hymdrechion. Ac anghen dynion fel yma yw anghen mawr ein gwlad a'r byd yn y dyddiau hyn. "Am hyny attolygwn ar Arglwydd y cynauaf am anfon gweithwyr" fel yma "i'w gynauaf." A dysgwn osod gwerth priodol ar bob doniau a arferir yn wirioneddol tuag at yr amcan gogoneddus o adeiladu eglwys Dduw. (3.) Eu bod i fod ar eu gocheliad rhag i'r doniau fod yn *achlysur cenfigen ac anghydfod.* Bu felly yn eglwys Corinth, ac aeth yr eglwys o'r herwydd yn bedair plaid, a phob un o honynt yn canlyn ei ddyn, yr hwn a ystyriai fel yn meddu y doniau goreu. Y dyn oeddynt yn weled, ac nid yr Ysbryd oedd wedi cyfranu y doniau, ac felly yr oeddynt "yn gnawdol ac yn rhodio yn ddynol." Yr oedd hyn wedi arwain y naill blaid i edrych yn isel ar y llall, gan feddwl mai hwy oedd y dynion doethaf a goreu, ac mai ffyliaid oedd y lleill. Ond y mae Paul yn ymresymu â hwy, a dyweyd os oeddynt yn rhagori, mai rhagori wrth *dderbyn* yr oeddynt. "Pwy sydd yn gwneuthur rhagor rhyngot ti ac arall? a pha beth sydd genyt a'r nas derbyniaist? ac os derbyniaist, paham yr wyt ti yn gorfoleddu megys pe bait heb dderbyn?" Gall y mwyaf poblogaidd, y mwyaf dysgedig, y mwyaf cyfoethog, a'r mwyaf doeth, fod mewn temtasiwn i edrych yn isel ar arall y mae yn ei gyfrif yn llawer gwaelach nag ef, ac i hyny yn y diwedd achosi oerfelgarwch a rhwyg. Y feddyginiaeth oreu rhag hyn yw cofio yr hyn a ddywed yr apostol wrth yr un dynion, ychydig yn nês ymlaen, sef mai yr un a'r unrhyw Ysbryd oedd wedi cyfranu i bob un fel yr oedd yn ewyllysio, a'u bod yn "un corff yn Nghrist, a phob un yn aelodau i'w gilydd, wedi eu bedyddio oll trwy yr un Ysbryd, a'u diodi oll i'r un Ysbryd." Yr un yw Awdwr holl aelodau y corff, ac y mae wedi bwriadu iddynt oll fod o wasanaeth i'w gilydd; ac y mae yr aelodau gwanaf felly yn anghenrheidiol, fel nas gall y rhai cryfaf wneyd hebddynt. A gwnaed hyn, "fel na byddai anghydfod yn y corff, eithr bod i'r aelodau ofalu yr un peth dros eu gilydd."

4. *Effeithioli yr efengyl er iachawdwriaeth.* Mae pregethiad yr efengyl yn yr oes apostolaidd yn rhoddi llawer o eglurhâd ar yr hyn yw wedi bod byth ar ol hyny. Hyd yn nôd ar ol y pregethau mwyaf nerthol, yr oedd yno rai yn aros heb gredu. Yr oedd Pedr yn gorfod dyweyd ar ol i dair mil gael eu dwysbigo ar ddydd y Pentecost, "Ymgedwch rhag y genedlaeth drofâus hon," gan feddwl y rhai oedd yn "gwatwar"

y dylanwadau, yn gystal a phreswylwyr caled Jerusalem a'r Iuddewon yn gyffredinol. Ar ol yr odfa ryfedd arall, ac iachâd y dyn cloff, yr oedd mor "flin gan yr offeiriaid, a blaenor y deml, a'r Saduceaid, y llywodraethwyr, a'r ysgrifenyddion, fel y gosodasant ddwylaw arnynt, ac a'u dodasant mewn dalfa hyd drannoeth." Yr oedd rhai hefyd yn ymgymeryd â'r grefydd newydd yn rhagrithiol, pan yr oedd rhai o honynt yn gallu dyweyd "celwydd yn erbyn yr Ysbryd Glân," a'r lleill mewn "bustl chwerwder, a rhwymedigaeth anwiredd." Ac fel hyn yr oedd y canlyniadau ymhob tref a gwlad lle y pregethwyd yr efengyl, er ar amser diwygiad mor rymus a chyffredinol. Pa fodd yr oedd yr apostolion yn cyfrif am hyn?" Mae yn amlwg eu bod yn credu nad oedd neb yn cael eu cadw ond trwy ras a dylanwad yr Ysbryd, ac felly yr oedd eu heglurhâd yn unol â hyny. Cawn eiriau ac ymadroddion fel y rhai canlynol yn esboniad: "A chynifer ag oedd wedi eu hordeinio i fywyd tragywyddol a gredasant." "Gweddill a achubir; felly gan hyny, y pryd hwn hefyd y mae gweddill yn ol etholedigaeth gras." "Ac os o ras, nid o weithredoedd mwyach; os amgen, nid yw gras yn ras mwyach." "Beth gan hyny? ni chafodd Israel yr hyn y mae yn ei geisio, eithr yr etholedigaeth a'i cafodd, a'r lleill a galedwyd." Ac fel eglurhâd ar y gwaith o dori cenedl gyfan ymaith oddiwrth ragorfreintiau yr efengyl, dywelir nad oedd hyny ond trefn i wneyd chware teg i bawb, ac fel y daethai pawb i wneyd chware teg â'u gilydd, a byw fel brodyr, heb fod gan un ddim i ddannod i'r llall, ond canu ynghyd, "Canys trwy ras yr ydym yn gadwedig." "Canys megys y buoch chwithau gynt yn anufudd i Dduw, eithr yr awrhon a gawsoch drugaredd trwy anufudd-dod y rhai hyn, felly hwythau hefyd yr awrhon a anufuddhasant, fel y caent hwythau hefyd drugaredd trwy eich trugaredd chwi; canys Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufudd dod, fel y trugarhâi wrth bawb." Nid yw yr apostol yn gadael pethau mewn ystâd o ysgariaeth, ond dywed fod "cyflawnder y Cenedloedd i ddyfod i mewn, ac felly holl Israel a fydd cadwedig, canys diedifarus yw doniau a galwedigaeth Duw." Fel rheswm dros fod un genedl yn cael ei hachub yn awr, a'r llall drachefn mewn adeg arall, neu fod un wlad yn cael yr efengyl yn awr, a gwlad arall yn ei chael mewn rhyw adeg i ddyfod,—dywed yr apostol, "Yr hwn yn yr oesoedd gynt a oddefodd i'r holl genedloedd fyned yn eu ffordd eu hunain." "A Duw wedi esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yr awrhon yn gorchymyn i bob dyn ymhob man edifarhâu."

Gall hyn fyned ymhell yn ngolwg rhai i daflu cyfrifoldeb yr achub a'r peidio achub ar Dduw; y mae felly fel y mae yn dal cysylltiad â gras a phenarglwyddiaeth Duw. Ond y mae ochr dyn yn y cwestiwn hefyd; ac yr oedd yr apostol Paul yn gallu dangos hòno, hyd yn nôd pan y byddai ar ganol pregethu etholedigaeth gras. Beth bynag am holl drefniadau Duw mewn ffordd o roddi rhagorfreintiau yr efengyl, ac mewn ffordd o ddylanwadu yn achubol trwy yr efengyl, nid oes gan yr apostol ond gwaeddi, "O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef; a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt! Canys pwy a wybu feddwl yr Arglwydd, neu pwy a fu gynghorwr iddo ef? neu pwy a roddes iddo ef yn gyntaf, ac fe a delir iddo drachefn? Canys o hono ef, a thrwyddo ef, ac iddo ef, y mae pob peth." Cyfyd yr apostol benarglwyddiaeth yr Ysbryd i sylw fel annogaeth i ddysgwyl wrtho, a bod yn llafurus drosto, mewn adeg dywyll a marwaidd ar grefydd, fel yr oedd yn amser Elias fwy o dduwiolion gan Dduw o lawer nag yr oedd ef yn feddwl. "Felly gan hyny y pryd hwn hefyd," meddai yr apostol. Rhydd hyn bawb ar eu gocheliad rhag barnu yn rhy isel am dduwioldeb oes, os na bydd ynddi gyffro diwygiad, nac arwyddion amlwg o grefydd. Un o blant Israel oedd Elias, y rhai oedd wedi arfer clywed am fellt a tharanau Sinai, parthu y môr, hollti'r Iorddonen, ac attaliad yr haul a'r lleuad. Cafodd Elias weled mai nid mewn arwyddion rhyfedd fel rhai pen Carmel yn unig yr oedd Duw i'w gael, gan iddo gael teimlo fod y "llef dystaw fain" yn fwy effeithiol iddo ef na phethau cyffelyb. Dylem ninnau gofio o hyd mai Penarglwydd yw yr Ysbryd, ac nad yw yn rhwymo ei hun wrth yr un arwyddion, na moddion, nac offerynau wrth achub pechaduriaid. Gras sydd yn achub, gallu

Duw a doethineb Duw. Gras, nid cyffro a phenboethni; gras, nid nerth na hyawdledd dynol; gras, nid medr na doethineb dynol. Dysgwyl wrth Dduw yn unig sydd i fod, os meddylir am achub pechaduriaid. Gellir cael gwledd feddyliol dda trwy foddion eraill; ond gras a nerth Duw yn unig a fedr gadw yr enaid.

---

## MARWOLAETH Y SAINT.

Pregeth angladdol y diweddar Mr. Thomas Foulkes Roberts, U.H., Llanidloes.*

*Gan y Parch.* N. Cynhafal Jones.

Psalm cxvi. 15: "Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef."

Yr oll a wyddom am awdwr y salm yma ydyw ei fod yn Israeliad duwiol, ac iddo fod yn ddiweddar mewn trallod, ac mewn enbydrwydd am ei einioes. Mae y salm yn fynegiant o feddyliau ei galon a'i weddïau, pan yn ei adfyd, ac yn ddadganiad o'i fawl a'i ddiolchgarwch i Dduw am ei waredu o'i gyfyngder. Mae profedigaethau yn fynych yn cynhyrfu enaid dyn i'w waelodion, ac yn peri i feddyliau dyfnaf ei galon godi i'r wyneb. Gellir dyweyd am lawer o'r meddyliau gwerthfawrocaf a geir ar ddalenau yr Ysgrythyrau, mai yn sŵn ystormydd y cenedlwyd hwynt, ac mai mewn dychrynfeydd yr esgorwyd arnynt. Colomen ddyeithr yn hoffi dilyn ystormydd hefyd ydyw "ysbryd dadguddiad." Yn y tawelwch sydd yn dilyn y dymhestl y mae Duw yn gweled yn dda siarad â'r saint yn fynych, a dadguddio iddynt "ei feddyliau ef." Ymysg meddyliau gwerthfawr eraill â pha rai y cyfoethogwyd enaid y Salmydd trwy ei gyfyngder a'i waredigaeth, ceir y gwirionedd sydd yn y testun: "Gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef." Beth bynag oedd ei syniadau o'r blaen am "farwolaeth y saint," mae yn amlwg iddo, weithian, ei weled mewn goleuni newydd. Nid yw y Salmydd yn rhoddi llawer o help i ni tuag at ddeall y gwirionedd yma a welwyd ganddo—i ddeall pa fodd a phaham y mae marwolaeth y saint yn werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd. Ond y mae gwirioneddau y Bibl yn egluro ac yn gogoneddu eu gilydd. Wrth edrych ar y gwirionedd yma yn ngoleuni gwirioneddau eraill, ac yn ngoleuni hanesiaeth ysbrydoledig, yr ydym i fesur yn gallu ei ddeall a'i fwynhâu.

Wrth siarad am farw yma heno, yr wyf yn siarad am beth sydd yn agos ac yn bresennol i feddwl pawb o honoch. Mae marwolaeth ein hanwyl frawd Mr. Roberts wedi taenu prudd-der a galar trwy y dref a thrwy y wlad o'n hamgylch. Y mae pawb o honom yn teimlo ein bod wedi colli gŵr yr ydym yn ei barchu ac yn ei garu, ac un o'r cymeriadau mwyaf dysglaer ac anrhydeddus a lewyrchai yn ein plith. Troai mewn gwahanol gylchoedd, a chadwodd ei gymeriad yn ddilychwin ymhob man. Yr oedd yn briod ffyddlawn a charuaidd, yn dad tyner a gofalus, ac yn benteulu oedd yn "llywodraethu ei dŷ ei hun yn dda." Yn ei ymdrin â'r byd fel masnachwr yr oedd yn gyfiawn a diargyhoedd. Yr oedd yn ddinesydd heddychlawn, a'i farn a'i gynghor yn ffrwyth meddwl clir a chalon gywir. Fel ynad heddwch, carai farn a chyfiawnder, a bu yn ofn i weithredoedd drwg. Ac yn arbenig fel cristion, ac aelod o eglwys Crist, ac yn y swydd anrhydedus a lanwai yn yr eglwys, yr oedd ei alluoedd, a'i ffyddlondeb, a chrefyddoldeb ei ysbryd, yn llewyrchu ger bron pawb. Y mae cwymp gŵr o'r fath alluoedd a chymeriad yn golled i'r byd, ac yn

"Loes ddofn i eglwys Dduw."

Pan yn edrych ar ei farwolaeth oddiar safle isel y byd hwn, dan gysgodion tywyll cymylau y ddaear, y mae tristwch a galar yn ein gorchfygu. Digon tebyg i'r teimladau yna ddyfod arnom fel llifeiriant a'n gorchfygu; a dichon ein bod yn aros eto dan lywodraeth teimladau o'r fath. Gadewch i ni symud ein safle, ac edrych ar ei farwolaeth o gyfeiriad arall. Esgynwn i fynydd yr Arglwydd, ac edrychwn o'r fan hono ar "farwolaeth ei saint ef." Wrth siarad yn y fan yma, yn ei hen gartref, yn eich clywedigaeth chwi oedd yn ei adnabod yn dda, ac wedi cael pob mantais i edrych ar ei ymarweddiad yn ystod y deugain mlynedd diweddaf o'i fywyd, ni raid i mi betruso wrth son am Mr. Roberts fel un o'i "saint ef." "Tystion ydych chwi, mor sanctaidd ac mor gyfiawn a diargyhoedd yr ymddygodd yn eich plith." Yr oedd ein hanwyl gyfaill ei hunan yn credu ac yn gwybod ei fod yn "eiddo Duw." Yn ei gystudd, pan yn ymwybodol fod ei ymddattodiad gerllaw, gyda meddwl goleuedig a chalon ddiolchgar, nesäi at "frawdle Crist" mewn "llawn hyder ffydd." Eithr nid am ei fod yn pwyso dim ar ei fuchedd ddiargyhoedd, nac ar ei weithredoedd da, na'i ffyddlondeb yn ngwinllan ei Arglwydd, ond ar hyn,—a defnyddio ei eiriau ef ei hun,—

* Pregethwyd yn Llanidloes, nos Sabboth, Ionawr 21ain.

"Fod y pechadur mawr a'r Gwaredwr mawr wedi ymaflyd yn eu gilydd; o ganlyniad y gallai ddyweyd gyda Paul, 'Pa un bynag yr ydym ai byw, i'r Arglwydd yr ydym yn byw; ai marw, i'r Arglwydd yr ydym yn marw; am hyny, pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym.'"

Y mae marwolaeth y saint yn rhy werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd *iddo i'w roddi yn llaw neb arall.* Yr oedd awdwr y salm hon wedi bod mewn cyfyngder am ei einioes; a gellid meddwl mai oddiwrth ddynion drygionus yr oedd ei fywyd wedi bod mewn perygl. Nid wyf yn meddwl fod neb ar y ddaear yn chwennych marwolaeth Mr. Roberts; ond rhaid i ni ddiolch am hyny i amgylchiadau ffafriol yr amseroedd yr ydym ni yn byw ynddynt Nid dyna fu rhan y saint ymhob cenedlaeth. Maent wedi bod yn wrthddrychau dygasedd a llid y byd, a gelynion creulawn yn sychedu am eu gwaed. "Yr annuwiol a wylia ar y cyfiawn, ac a gais ei ladd ef." Ond "ni âd yr Arglwydd ef yn ei law ef." Na, y mae marwolaeth y cyfiawn yn èm rhy werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd iddo i'w thaflu ymaith i foddio cynddaredd ei elynion. Byrheid oes y saint ar y ddaear yn fuan pe caniateid i'r diafol gyfrif dyddiau iddynt. Beth na roddai Satan pe gallai ddwyn oes aml gristion dysglaer a ffyddlawn i derfyn? Yr oedd ymarweddiad cyfiawn Job yn flinder calon iddo, ac yn cythruddo ei ddigofaint i'w ddyfnderau; ac arferodd yr ystrywiau dyfnaf i geisio ei symud o'r ffordd. Rhoddodd yr Arglwydd gyfoeth a meddiannau Job yn ei law, ac hyd yn nôd ei iechyd; ond am ei farwolaeth, cadwodd hwnw gydag eiddigedd ofnadwy yn ei law ei hun. Na, ni chaiff na dynion anhywaith, na chythreuliaid maleisus, unrhyw awdurdod ar farwolaeth ei saint ef, na neb arall chwaith. Nid yw yn dirprwyo yr awdurdod yma i neb pwy bynag. Yn ei law ef y mae eu hamserau; efe a'u gwared o law eu gelynion, ac oddiwrth eu herlidwyr. Y mae marwolaeth ei saint mor werthfawr yn ei olwg, fel nas gall ymddiried amser na lle nac amgylchiadau eu marwolaeth i neb arall.

*Y mae yr Arglwydd ei hunan yn anrhydeddu eu marwolaeth i'w nerthu a'u dyddanu.* Pan y mae dyddiau y flwyddyn yn byrhâu, a'r haul yn ymddangos fel pe byddai yn myned bellach, bellach, oddiwrth y ddaear, y fath brudd-der y pryd hwnw sydd yn ymdaenu dros holl natur! Mae y blodau gwridog yn diflanu, y llysiau a'r dail gwyrddion yn gwywo, a phob bywyd yn cilio o'r golwg rhag ofn yr ia a'r rhew-wynt difäol. Ond pan dry y rhôd, a'r haul yn hwyhâu oriau ei bresenoldeb, O fel y mae y ddaear yn llawenhâu eilwaith, a beddau ei meirw yn agoryd! Fel yna y mae rhwng eneidiau y saint â Duw. Pan y mae efe yn cuddio ei wyneb, hwy a drallodir; ond pan yn mwynhâu ei bresennoldeb ef, y mae eu llawenydd yn annhraethadwy. Y mae yr Arglwydd, nid yn unig yn obrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio, ond efe ei hunan yw y wobr. "Nac ofna, myfi yw dy darian, dy wobr mawr iawn." Mae y saint yn cael eu gwobrwyo â'r gwobr mawr iawn yma yn eu marwolaeth. "Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi, a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot; pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir, ac ni ennyn y fflam arnat." "Mewn ing y byddaf fi gydag ef, y gwaredaf ac y gogoneddaf ef." Cafodd ein hanwyl frawd ei wobrwyo â'r wobr fawr iawn yma. Nis gwelsom ef erioed yn ystod ei fywyd a'i iechyd yn mwynhâu presennoldeb Duw i raddau mor helaeth ag y gwnai yn ei gystudd hyd y diwedd. Adroddai y drydedd salm ar hugain mewn modd nas gallodd ei hadrodd erioed o'r blaen. Edrychai ymlaen i dywyllwch glŷn cysgod angeu heb ofni niwed, am ei fod yn gallu dywedyd, "Yr wyt Ti gyda mi." Cuddiad cryfder y dyn duwiol i fyw ac i gyflawni gwaith a dyledswyddau ei fywyd ydyw, "fod Duw gydag ef." Saif Moses yn nghanol oesoedd a chenedlaethau o ddynion, gan ymddyrchafu mewn mawredd a dylanwad goruwch iddynt oll; a dirgelwch ei fawredd, a'i lwyddiant, a'i ddylanwad oedd hyn, "Efe a adnabu yr Arglwydd wyneb yn wyneb." Mae y cristion pryderus, a gadwyd dan gaethiwed dros ei holl fywyd gan ofn marwolaeth, yn dyfod yn ddigon cryf i farw yn ddiofn, pan y mae yn gweled Duw, ac yn gallu dywedyd,—"Yr wyt Ti gyda mi."

*Y mae marwolaeth y saint yn werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd, am fod ei enw yn cael ei ogoneddu ynddynt yn eu marwolaeth.* Nid yw y gwahaniaeth rhwng dynion duwiol ac ysbrydol â dynion moesol ac anianol yn amlwg iawn yn ystod eu bywyd. Y mae gwahaniaeth dirfawr rhyngddynt, ond nid oes neb yn ei weled yn llawn ond yr Hollwybodol. Nid rhyw lawer o wahaniaeth sydd yn lliwiau y coedydd tewfrig sydd yn addurno llechweddau ein gwlad yn ystod misoedd Mehefin, Gorphenaf, ac Awst; ond edrychwch arnynt yn misoedd Hydref a Thachwedd, a chwi a welwch wahaniaeth mawr rhyngddynt. Y mae dail rhai o honynt yn duo ac yn pydru, ac yn cymeryd gwedd eithaf annymunol cyn disgyn o honynt i'r llwch; ond edrychwch ar eraill o honynt, y mae awelon marwolaeth yn eu gwneyd yn brydferthach nag erioed. Nid oes derfyn ar gyfoeth ac amrywiaeth eu lliwiau; y maent fel pe wedi

eu cânu yn lliwiau yr enfys. Tebyg i hynyna ydyw gyda'r dyn anianol a'r dyn ysbrydol. Nid yw y gwahaniaeth rhyngddynt i'w weled ond yn brin iawn yn hafddydd bywyd. Os oes rhinweddau i'w gweled yn nghymeriad y naill, y mae yn ddigon posibl fod rhinweddau naturiol prydferth yn nghymeriad y llall. Dichon fod bywyd y naill yn debyg i fywyd y llall, yn llwythog o weithredoedd da; ac yn sicr y mae diffygion yn difwyno bywyd pob un o honynt; y maent mor debyg fel y mae yn anhawdd gweled y gwahaniaeth rhyngddynt. Ond edrychwch ar y ddau pan y mae awelon oerion marwolaeth yn dyfod drostynt, a hwythau yn ymwybodol fod diwedd einioes gerllaw. "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus a rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw a'r hwn nis gwasanaetho ef." Y mae yr egwyddorion a'r cymhellion oedd wrth wraidd rhinweddau a gweithredoedd y dyn anianol yn sychu ac yn pallu. Ynddo ei hun yr oedd gwraidd ei egwyddorion a'i gymhellion ef, ac y mae efe ei hun yn marw; a phan y mae y gwraidd yn pallu, y mae y cangenau a'r dail a'r ffrwyth yn duo ac yn pydru. Ond y mae nerth egwyddorion a chymhellion y dyn ysbrydol yn Nuw; ac y mae Efe yn aros yr un. Nid iddo ei hun yr oedd efe yn byw ac yn symud ac yn bod, ond i Dduw; o ganlyniad pan y mae pobpeth gweledig yn newid, yn syflyd ac yn diflanu, y mae efe yn gadwedig, a'i berthynas â Duw yn aros yr un; ac ni chaiff golled am ei weithredoedd chwaith, "oblegid yn Nuw y gwnaed hwynt." Trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu y mae nid yn unig wedi ei heddychu â Duw, eithr y mae hefyd yn caru Duw, ac y mae yn croesawu pob gorchwyliaeth sydd yn ei ddwyn yn nês at Dduw, ac i uwch a llawnach mwynhâd o hono. Y mae yn ymostwng yn dawel i weinidogaeth angeu, gan ei awyddfryd i gyrhaedd "y gogoniant ar ol hyny."

Nid yw fod dyn yn foddlawn i farw yn brawf o dduwioldeb. Gwelir dynion annuwiol, pan yn cael eu gorchfygu gan boenau angeu, yn ddigon boddlawn i farw. Ond y mae y gwahaniaeth mwyaf rhwng boddlonrwydd hwnyna a boddlonrwydd y cristion i farw. Ei fod wedi blino ar y byd hwn sydd yn peri i'r annuwiol foddloni i fyned o hono. Gall fod ei enaid mewn trymgwsg ysbrydol, nad yw pangfeydd angeu, na chnul y farn fawr, yn ei ddeffro; a chan ei fod yn hollol anystyriol o bob peth sydd tu draw i farw, gan faint ei anhunedd a'i boenau, ei fod yn foddlawn i farw—yn gwaeddi, hwyrach, yn ddiamynedd am gael marw. Ond nid am ei fod wedi blino ar y byd—o leiaf, nid am hyny yn unig, y mae y cristion yn foddlawn i farw. Y byd tu draw i farw sydd yn taflu ei oleuni i'w enaid, ac yn ei sugndynu iddo ei hun. Y mae aros yn y cnawd, pan y mae hyny yn angenrheidiol er mwyn y saint, ac ymdreulio yn ngwasanaeth Crist ar y ddaear, yn gymaint wrth ei fodd ar y naill law; ac ar y llaw arall, y mae "bod gyda Christ" yn beth y mae yn ei ddymuno mor fawr fel y "mae yn gyfyng arno o'r ddeutu." Eto pan y mae yn cael ar ddeall mai ewyllys Duw ydyw iddo roddi y "tabernacl hwn heibio," a dyoddef i'r "babell hon" gael ei dattod, y mae ar unwaith yn ymwroli i ufuddhâu. Y mae yn planu llygaid ei ffydd yn fwy treiddgar a sefydlog nag erioed ar "y pethau ni welir," a chan hollti yr Iorddonen â'i wialen, y mae yn myned rhagddo dan ganu,—

"Tyr'd y tir dymunol hyfryd,
Tyr'd yr ardal sydd heb drai;
Rhaid i'm henaid noeth, newynllyd,
Gael yn fuan dy fwynhâu."

Mae bywyd Moses yn llawn o rymusderau a gorchestion ffydd; ond ni wnaeth Moses ddim erioed ag yr oedd Duw yn cael ei ogoneddu yn fwy ynddo nag wrth esgyn i Abarim i farw. Yr oedd gwaith mawr ei fywyd heb ei orphen, ac eto yr oedd yn ymyl cael ei orphen; yr oedd wedi gorchfygu Pharaoh, wedi dwyn y genedl o gaethiwed, ac wedi eu harwain trwy yr anialwch blin a pheryglus am ddeugain mlynedd, ac weithian gwlad yr addewid yn ymyl, yn y golwg—dim ond un symudiad eto, a dyna hwy i mewn ynddi! Ond, "nid äi di i'r wlad yr ydwyf fi yn ei rhoddi i feibion Israel," ebe yr Arglwydd wrtho. "Esgyn i'r mynydd Abarim hwn—yr hwn sydd yn nhir Moab, a bydd farw yn y mynydd." Pe buasai yn rhy hen a methedig i orphen y gwaith o ddwyn y genedl i Ganaan, buasai yn haws iddo, gellid tybied, ddygymmod â'r siomedigaeth. Ond nid ydoedd felly; "oblegid ni thywyllasai ei lygad, ac ni chiliasai ei ireidd-dra ef." O yr oedd marw dan amgylchiadau fel yna yn groes i natur! Ai gorfod marw yr ydoedd? Nage. Mae yn wir fod yn rhaid iddo farw y pryd hwnw, gan fod Duw wedi ordeinio hyny; eto yr oedd ei farwolaeth yn weithred wirfoddol o eiddo Moses. Esgynodd i'r mynydd, nid trwy gael ei yru, na'i lusgo, na'i gludo; yr oedd pob cam a roddai yn gam ewyllysgar ffydd yn ufuddhâu i ewyllys Duw. Beth oedd yn ei alluogi i wneyd hyny? Yr un peth ag oedd wedi ei alluogi i wneuthur holl rymusderau ei fywyd; gweled yr ydoedd yr Anweledig. Yr un modd yn mywyd y cristion heddyw: nid oes dim ynddo sydd yn gogoneddu y Tad sydd yn y nefoedd yn fwy na'i waith yn sylweddoli ac yn caru "y pethau ni welir," nes ei wneyd yn foddlawn i ddyoddef, ac

yn foddlawn i farw, er mwyn hedfan i'w tragywyddol fwynhâu.

Gwelir fod marwolaeth y saint yn werthfawr yn ngolwg yr Arglwydd *wrth y gofal y mae yn ei gymeryd am eu cyrff wedi iddynt feirw.* Nid yw cyrff y saint, y rhai sydd demlau i'r Ysbryd Glân, yn cael eu colli na'u hanghofio gan Dduw. Gall y gronynau sydd yn gwneyd i fyny y corff gael eu chwalu, ac ymgymysgu â phriddellau y dyffryn; ond y mae yn aros yn "gorff" yn ngolwg Duw o hyd. "Efe a heuir yn gorff anianol, ac a gyfodir yn gorff ysbrydol." Nid gwaredu yr enaid yn unig y mae yr Iesu, y mae hefyd "yn Iachawdwr y corff." Y mae cyrff y saint yn gystal a'u heneidiau yn eiddo Duw—yn eiddo iddo trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. "Canys er gwerth y prynwyd chwi, gan hyny gogoneddwch Dduw yn eich corff, ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw." Y mae fod cyrff y saint wedi eu prynu â gwaed Crist yn rhoddi digon o sicrwydd i ni na chânt niwed, ac na chyfrgollir yr un o honynt. Pan yn edrych ar weddillion marwol Mr. Roberts, ac eraill o'r brodyr y gwelsom eu claddu—pan yn edrych ar y corff yn cael ei ostwng i'r bedd, chwi welsoch y rhaffau wrth ba rai yr oedd yn cael ei ollwng i lawr yn cael eu tynu i fyny. Wrth wneuthur hyny yr oedd y cysylltiad olaf rhwng y marw a'r byw yn cael ei dori. Dyna fe yn ngwaelod y bedd, heb gysylltiad rhyngddo â llaw câr na chyfaill i weini dim iddo na rhoddi un help iddo mwy. Ond gadewch i ni edrych arno unwaith eto,—yn ngoleuni yr Hwn a fu yn angeu i angeu, ni a welwn fod perthynas rhwng y corff yna â Duw, a bod y berthynas yn dal; y mae yn "rhwym y cyfammod," y mae addewidion Duw yn glwm am dano, ac y mae y breichiau tragywyddol odditano; a phan ddelo y dydd rhagderfynedig, daw i fyny eto yn fwy gogoneddus ei wêdd nag erioed. "Dy feirw a fyddant byw, fel fy nghorff i yr adgyfodant." "Rhaid i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb. A phan ddarffo i'r llygradwy hwn wisgo anllygredigaeth, ac i'r marwol hwn wisgo anfarwoldeb, yna y bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth!"

Hyd y bore hwnw, boed heddwch i lwch ein hanwyl, anwyl frawd! Ti, yr hwn oedd yn caru buchedd lân a bywyd diargyhoedd, rhodia bellach gyda Christ mewn dillad gwynion, canys, trwy waed yr Oen, teilwng ydwyt. Ti y cristion boneddigaidd, cymer dy le ymysg pendefigion y drydedd nef. Ti, fab tangnefedd, yr hwn a feithrinaist gariad a heddwch ymhlith dynion, aros bellach yn nghariad Crist, a gorphwys yn nhangnefedd Duw. Ti, yr hwn a gerit y brodyr, ac a hoffit y cyfiawn a'r da ymysg pob cenedl, mwynhâ bellach gymdeithas y rhai cyntafanedig, ac ymhyfryda gydag ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd. Ti, y cyfaill hynaws, caruaidd, a'r hwn a fedrit gadw cariad, dyro dy ben i orphwys, nid ar fynwes un cyfaill daearol, ond gyda'r "dysgybl anwyl" ar fynwes y Cyfaill a roddodd ei einioes i lawr drosot. A thithau ei gorff lluniaidd, prydweddol, yr hwn a ddodasom yn garedig gan nychdod angeu, i orwedd yn y dystaw fedd, cwsg dithau dy hûn yn dawel hyd nes delo yr Iachawdwr, yr Hwn a'th gyfyd ac a'th gyfnewidia, fel y gwneler di yr un ffurf â'i gorff gogoneddus Ef.

Y Duw y gobeithiodd efe ynddo,—Tad a Thywysog ei ieuenctyd, a'r Hwn a'i harweiniodd ac a'i cadwodd yn ddigwymp hyd yn nheyrnas nefoedd—Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, i'r Hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear,—y Duw hwn a fyddo yn Dduw i ninnau oll, byth ac yn dragywydd.

---

## CYNNYDD Y CYFUNDEB A CHYNNYDD Y BOBLOGAETH.

### GAN WEINIDOG.

Y MAE dechreuad a chynnydd ymherodraethau a chyfundebau crefyddol yn faes astudiaeth dyddorol, a chyflawnder o le ynddo i'r meddwl mwyaf athronyddol gasglu ffeithiau i'w cymharu â'u gilydd, a thynu casgliadau teg oddiwrthynt. Gwyddom am ddygwyddiadau bychain a dibwys wedi agor ar ganlyniadau a fu yn foddion yn nhreigliad oesoedd i chwyldroi cymdeithas, i ddadwreiddio hen syniadau cyfeiliornus, i fyned o dan sylfeini cyfundrefnau gorthrymus, a'u dymchwelyd yn gandryll i'r llawr. Dygwyddodd bachgen ieuanc, mab i fwngloddiwr o Eisleben, daro ar Fibl Lladin mewn llyfrgell yr hen a berthynai i fynachlog yn Erfurt; dechreuodd ei ddarllen, teimlodd ei enaid yn cael ei swyno gan ei gynnwysiad, a gwaeddodd allan, "Pe cawn i un o'r llyfrau hyn, ni ofynwn am yr un trysor arall." Pa bwys oedd yn y dygwyddiad hwn? Pwys mawr! oblegid dyma ffynonell y Diwygiad Protestanaidd. Pwy ond yr Hollwybodol Dduw oedd yn rhagweled yr afon ddofn, eang o fendithion oedd i darddu i Gymru o'r ffynnonell fechan o fywyd ysbrydol a ymwthiodd i'r golwg megys trwy ganol anhawsderau yn nghalon Howell Harries o Drefecca? Dacw fachgen ieuanc un ar hugain oed, na wyddai ddim am gyffroadau cydwybod, i'r hwn nad oedd bodolaeth

Duw, sicrwydd, agosrwydd a manylder y farn, yn ddim ond cymylau disylwedd yn nofio yn awyrgylch ei ddychymyg, yn penlinio ger bron yr allor i dderbyn y cymun sanctaidd yn hen eglwys Talgarth, Sul y Pasg, Ebrill 6, 1735—agos i saith ugain ac wyth mlynedd yn ol—ac mewn eiliad, pan yn adrodd y geiriau bythgofiadwy yn y gyffes am bechod, "Eu coffa sydd drwm genym, a'u baich sydd annhraeth i'w oddef," wele'r bachgen yn cael ei daraw gan ffrydlif o drydan nefol anweledig, nes ei ddeffro o'i drwmgwsg a'i lenwi â phryder am fater ei enaid. Dyma gynhyrfiad yn myd anweledig meddwl person unigol a fydd cyn hir yn cynnyrchu effeithiau gweledig, ac yn newid gwyneb y wlad. Yr oedd y fesen wedi cwympo i'r ddaear, a suddo yn ddigon dwfn, nes ymagor, egino, ac addaw bod yn dderwen gref. Er myned i Rydychain i ymgyfaddasu ar gyfer urddau eglwysig, y mae y fflam sanctaidd sydd o fewn ei enaid yn gwreichioni ac yn ymledu er gwaethaf llygredigaeth ac annuwioldeb y lle. Wedi diflasu ar esiamplau o ddrwg fuchedd y myfyrwyr, dychwelodd yn ol i'w wlad ei hun, ac ymroddodd i gadw cyfarfodydd yn nhai ei gymydogion; a'r fath oedd ei ddifrifwch, ei benderfyniad, a'i zel, fel y bu ei weddïau a'i gynghorion yn foddion i gyffroi lluoedd o'r dynion caletaf i'r fath raddau nes peri iddynt dori allan i waeddi dan y teimladau mwyaf cyffrous yn yr olwg ar drueni eu cyflyrau. Dyma fachgen dwy ar hugain oed yn ymgymeryd â baich a fuasai yn llethu i'r llawr lonaid gwlad o glerigwyr yr Eglwys Sefydledig. Nid bachgen gwlanenaidd, digalon sydd yma, ond llew a all ruo nes peri i gestyll annuwioldeb gwympo i'r llawr. Dyma'r ffynnonell o ba un y tarddodd y cyfundeb Methodistaidd. Aber fechan oedd y pryd hwnw; ond erbyn hyn y mae'n afon fawr lydan, a miloedd o eneidiau, ni a hyderwn, yn hwylio ar hyddi i ogoniant.

Yn awr y mae cewri y pulpud Cymreig wedi eu dyrchafu i fysg pendefigion y nef. "Y tadau, pa le y maent hwy?" Rhaid i'r fyddin ymlwybro ymlaen heb Harries a Rowlands, y ddau Morris, a'r ddau Richards; heb Roberts o Glynnog, John Elias, a Henry Rees. A ydyw yn cadw ei thir? A ydyw yn ennill buddugoliaethau newyddion dan arweiniad rhai llai? Ateb y cwestiwn hwn fydd ein hamcan yn y sylwadau hyn. Ceisiwn roddi ein holl osodiadau i orphwys, nid ar ddychymygion a mympwyon, ond ar greigiau cedyrn, diysgog, ffeithiau diymwad.

Poblogaeth deuddeg Sir y Dywysogaeth yn 1871 oedd 1,217,315; ond erbyn 1881 yr oedd yn 1,359,895. Felly gwelir, er gwaethaf holl farweidd-dra masnach yn y chwe' blynedd diweddaf, fod trigolion ein gwlad yn lliosocach o 142,760 nag oeddynt ddeng mlynedd yn ol. (Nid oes braidd yr un ffaith yn fwy tarawiadol na chyflymder cynnydd poblogaeth ein teyrnas. Nid oedd ei phoblogaeth, yn ol y *census* a gymerwyd yn amser y *Spanish Armada*, 1588 O.C., ond prin 5,000,000.—Froude, *vol.* I.) Gwelir oddiwrth y ffigyrau uchod mai cynnydd poblogaeth Cymru mewn deng mlynedd o amser oedd 11⅝ y cant. Yn awr, dylai pob cyfundeb crefyddol, tuag at ddal ei dir, heb son dim am ennill esgeuluswyr a Phaganiaid i wrando yr efengyl, gynnyddu yn ol y cyfartaledd uchod. Dyma y safon wrth ba un y dylid mesur cynnydd allanol a gweledig y Corff. Deued, ynte, yr Hen Gyfundeb ymlaen, coded ei ben, ac ymsythed, a sylled y darllenydd yn fanwl arno. A ydyw ei gopa yn dyfod i fyny â'r nod? Haera ei elynion fod gwendid ac adfeiliad yn dechre treiddio trwy ei gyfansoddiad—fod ei wallt yn gwynu, ei liniau yn ysgwyd, ei wàr yn crymu, a'i ben yn gamach nag erioed. Ond beth yw y ffaith? Yn 1871, nifer holl gyflawn aelodau y Cyfundeb oedd 93,276, a nifer yr aelodau ar brawf a'r plant, 47,376. Dyma oedd holl aelodau y Cyfundeb ddeuddeng mlynedd yn ol, sef 148,652. Wrth gwrs y maent yn lliosocach yn awr; ond pa faint yw y cynnydd? Braidd na ddychymygem weled ambell i Fethodist digalon a phruddglwyfus, fel Thomas gynt, yn arswydo edrych ar y llèn yn cael ei chodi, rhag ofn i hyn ddadguddio ffeithiau a fo yn awgrymu dirywiad y Cyfundeb. Coded y cyfryw ei olygon i fyny, a chaiff achos i wênu wrth syllu ar yr olygfa. Yn 1881 yr oedd nifer y cyflawn aelodau yn 119,355, a'r plant a rhai ar brawf yn 59,481. Felly gwelir fod cynnydd wedi cymeryd lle yn nifer ein haelodau eglwysig o 148,652 i 178,836, sef 30,184. Yn awr mesurer hwn wrth gynnydd y boblogaeth. A ydyw 30,184 yn gyfran mor helaeth o 148,652 ag ydyw 11⅝ o gant. Ydyw, a mwy o lawer. Cynnydd aelodau y Corff yw 20¼ y cant. Gwelir wrth hyn fod nerth y Cyfundeb, càn belled ag y mae yn dibynu ar liosogrwydd aelodau, yn cynnyddu *yn gyflymach agos ddwy waith* na'r boblogaeth. Y mae y cynnydd yn y cyflawn aelodau yn llawer mwy eto. Pe buasai y Corff wedi llwyddo ymhob ystyr, yn dymmorol ac ysbrydol, fel y gwnaeth yn nifer ei gyflawn aelodau rhwng 1871 ac 1881, ni buasai yr un cyfundeb yn y deyrnas yn deilwng o'i gymharu âg ef. Ychwanegwyd at nifer y cymunwyr 26,079 yn y cyfnod uchod. Nid 11⅝ y cant ydyw hyn, ond 28 y cant. Da fyddai i urddasolion yr Eglwys Sefydledig edrych ar y ffaith hon fel colofn o

farmor gwŷn neu ithfaen oesol yn tystio i werth ac effeithiolrwydd yr egwyddor wirfoddol. Gwelsom lawer yn myned drosodd at yr Eglwys Wladol oddiwrth yr Eglwysi Ymneillduol; ond pe gorfodid ni i fyned ar ein llw ger bron yr Hollwybodol Dduw, rhaid fyddai i ni gyffesu na chawsom y seiliau gwanaf i gredu i'r un o honynt wneyd y cyfnewidiad oddiar argyhoeddiadau crefyddol. Fel rheol, cyfoeth yw y duw, a *respectability* yw y dduwies, sydd yn llygad-dynu ac yn penfeddwi y personau hyn. Balchder yw yr ellyll sydd yn anesmwytho eu heneidiau, ac yn eu gyru fel llongau direol allan o borthladd clyd eglwys eu tadau. Er gwaethaf dylanwad cyfoeth ac urddas y Sefydliad, y mae y Corff yn cynnyddu *ddwy waith a hanner yn gyflymach* na'r boblogaeth. Pe buasai cyfrifon llawn a manwl yn cael eu cadw o'r gwrandäwyr ac o aelodau yr Ysgol Sabbothol, buasem yn adolygu y ddwy agwedd hon ar waith yr Arglwydd yn ein mysg; ond gwyddom fod cyfrifon yr Ysgol Sabbothol yn hynod anghyflawn, ac nad yw y cyfrif a wneir o'r gwrandäwyr mewn llawer ardal ond *guess-work* hollol.

Wrth derfynu, rhoddwn restr o'r Siroedd yn ol eu teilyngdod, a'u barnu oddiwrth y cynnydd sydd wedi cymeryd lle ymhob un o honynt yn nifer y cyflawn aelodau mewn deng mlynedd o amser. Nis gellir eu cymharu â'u gilydd heb eu gosod yn ddau ddosbarth.

I. Y SIROEDD YMHA RAI Y MAE Y BOBLOGAETH YN LLEIHAU.

| | Cynnydd yn rhif yr Aelodau. | Lleihâd y Boblogaeth y cant. | Cynnydd y Corff y cant. |
|---|---|---|---|
| Brycheiniog a Maesyfed ... | 470 | 4⅔ | 21¼ |
| Trefaldwyn .................... | 1029 | 2½ | 21⅛ |
| Môn ............................ | 1119 | ¼ | 12⅚ |
| Penfro ......................... | 207 | ⅓ | 8 |
| Aberteifi ...................... | 637 | 4⅚ | 5½ |

Gwelir fod Methodistiaeth yn dal ei thir yn llawer gwell yn Sir Frycheiniog a Sir Drefaldwyn nag yn Sir Benfro a Sir Aberteifi. Pa beth yw yr achos o hyn? Dyma ffeithiau dystaw, fel y sêr yn britho y ffurfafen ar noswaith dawel; ond y mae pob un o honynt yn tywallt allan ffrwd o hyawdledd anorchfygol i enaid yr edrychydd. A oes mwy o ofal am yr ieuenctyd, y cleifion, a'r esgeuluswyr, mewn rhai Siroedd nag y sydd mewn Siroedd eraill? Addefa pleidwyr dadblygiad, dysgyblion Darwin, fod rhai mathau o fywyd yn aros heb newid am gannoedd o filoedd o flynyddoedd, ac nid oes ganddynt ddim i'w wneyd gyda'r ffaith ond ei phriodoli i'r hyn a alwant yn *persistence of type*. Ac onid oes rhai ardaloedd yn ein gwlad, yn y De a'r Gogledd, â'r ffurfiau isaf o Fethodistiaeth yn ffynu ynddynt? Pa ddadblygiad sydd i'w ddysgwyl?

II. Y SIROEDD YMHA RAI Y MAE Y OBLOGAETH YN CYNNYDDU.

| | Cynnydd yn rhif yr Aelodau. | Cynnydd y Boblogaeth y cant. | Cynnydd y Corff y cant. |
|---|---|---|---|
| Morganwg ...................... | 6125 | 28¼ | 60¼ |
| Caerfyrddin .................... | 2122 | 8 | 33⅗ |
| Dinbych ........................ | 1718 | 3¼ | 28⅚ |
| Caernarfôn .................... | 4672 | 12½ | 28 |
| Fflint .......................... | 1317 | 5⅜ | 24 |
| Meirionydd .................... | 1923 | 18 | 20 |

Y mae rhai Siroedd wedi eu meddiannu mor llwyr gan y Cyfundeb fel nad oes dim llawer iawn o le iddo i eangu ei derfynau. Y mae agos yr holl wlad yn ei feddiant yn barod. Dyma y gwir am Môn a Meirionydd, ac i raddau helaeth am Aberteifi. Da genym weled nad yw llanw y Cyfundeb yn sefyll. Gofaler am ddarparu ar gyfer lledaeniad yr iaith Saesoneg. Pa Fethodist twymngalon a all oddef y syniad am i'r Hen Gyfundeb fyned i'r cyflwr o nychdod ac eiddilwch y mae ynddo yn y Siroedd sydd yn cael eu goresgyn gan yr iaith Saesoneg—Mynwy, Penfro, Maesyfed, a Brycheiniog? Y mae poblogaeth y pedair Sir hyn yn 383,000, ond nid oes prin 9500 o honynt yn gyflawn aelodau gyda'r Methodistiaid. Pe ychwanegid atynt y plant dan oed, a'r rhai ar brawf, ni byddai eu nifer ond prin 13,700. Beth yw hyn mewn poblogaeth mor fawr? Dim ond un o bob wyth ar hugain o'r trigolion. Cadwed yr Arglwydd arweinwyr y Cyfundeb â'u llygaid yn agored ar y dyfodol.

---

## Y WEINIDOGAETH.

*Gan* TIMOTHEUS.

II.—"METHIANT."

NID ydym heb ofni rhag y dichon i'r ysgrif ei hun fod yn well engraifft o "fethiant" na dim a gynnwysir ynddi. Collfarnwyd ein hysgrif flaenorol gan un awdurdod pwysig oblegid ei diffyg chwaeth; ond yn dra grasol esgusodid ni am hyny o herwydd ein bod yn ieuanc ac yn ddibrofiad.

Hyderir y cedwir hyn mewn cof gan ein holl feirniaid. Os dygwydd i ni droseddu deddfau yr hyn a elwir gan rai yn chwaeth lenyddol, trwy ysgrifenu geiriau celyd am ryw bethau a ystyriwn yn ddim amgen na rhith neu hoced, neu os galwn *old clothes* yn *old clothes*, O chwi odidocaf adolygwyr, attolygwn, maddeuer hyny i ni, canys ieuanc ydyw eich gwas!

"Ni all na ddâl rhwystrau," a "gelynion dynion fydd tylwyth ei dŷ ei hun." Felly gyda'r fugeiliaeth. Y mae wedi gwreiddio bellach yn Nghymru; cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chysgod, a'i changhenau sydd fel cedrwydd rhagorol; ond eto nid pob pren a blanwyd sydd wedi llwyddo, ac nid oes odid un pren yn dwyn y ffrwyth a ddysgwylid ac a ddylasai yn ol ei fanteision. Y gwir galarus ydyw, mai methiant ydyw hanes y fugeiliaeth mewn rhai manau, a chyda rhai personau. Eto nid yw methiant rhai bugeiliaid yn profi mai methiant mawr ydyw y fugeiliaeth ei hun. Nid ydyw hwn a hwn yn llwyddo yn ei weinidogaeth,—mae y fan a'r fan wedi blino yn llwyr ar ei gweinidog anfuddiol; ond pwy yn meddu ac yn defnyddio synwyr cyffredin a dynai y casgliad cyffredinol, oddiwrth y ffeithiau unigol hyn, fod y fugeiliaeth ymhob man yn niweidiol i grefydd, ac yn aflwyddiant hollol? Oni bae fod y dosbarth yma uwchlaw sylwi ar reolau rhesymeg, gallesid eu hadgoffa am y ddeddf sylfaenol hono, nas gellir tynu casgliad *(conclusion)* cyffredinol oddiwrth osodiadau unigol. Dyma ddull eu hymresymiad: "Mae y fugeiliaeth yn fethiant yn A——, yn M——, ac yn S——. Felly methiant ydyw ymhob man." Fe welir ffolineb y dull wrth ei ddefnyddio at bethau cyffredin o'n hamgylch. Yn Ninbych mae gwallgofdŷ Gogledd Cymru, a chlafdŷ ëang, ac hefyd dylottŷ mawr: felly gwallgofiaid, cleifion, a thlodion ydyw pawb sydd yn byw yn nhref Dinbych! "Tybed! a ydyw hynyna yn wir?" Nis gallwn ateb, a gobeithiwn nad yw, yn enwedig, gan eu bod yn dysgwyl cael Coleg Gogledd Cymru yno; ond hyn sydd wir, mai yr un dull o ymresymu sydd yn cynnyrchu y naill gasgliad fel y llall! Pe na buasai "methiant" yn hanes y symudiad bugeiliol, buasai uwchlaw holl bethau goreu y byd hwn. Methodd cariad a thynerwch yr Arglwydd Iesu wneyd Judas yn ddim ond "bradychwr" a "chythraul;" methodd dylanwadau Ysbryd Duw ar ddydd y Pentecost argyhoeddi yr ysgrifenyddion a'r cynghor Iuddewig; methodd Paul â'i holl ddoniau droi Demas oddiwrth garu y byd presennol at y gwirionedd. Rhaid cydnabod fod y fugeiliaeth wedi methu mewn llawer lle, ac wedi methu i'r fath raddau hefyd, fel ag i beri na cheisir ei chodi yno am amser maith. Ar y llaw arall, gweddus yw i'r gwrthwynebwyr ystyried y ffaith fod eglwysi lle y bu gweinidogion sydd wedi eu gadael i symud i leoedd eraill, neu o herwydd rhyw resymau wedi ymryddhâu oddiwrth y gofal, wedi galw brodyr eraill i'w gwasanaethu.

Ceisir yn yr ysgrif hon ddangos oddiwrth hanes Paul mai diffyg yn y dynion eu hunain, ac nid diffyg yn y cynllun, ydyw yr achos o'r aflwyddiant ymhob man. Ofnwn weithiau fod genym well cynlluniau na dynion,—arfogaeth Saul, heb yr un Saul i'w gwisgo. Ymhlith amryw bethau, gellir nodi yn

1. Diffyg gwyliadwriaeth gyda phethau arianol. "Duw y byd hwn" ydyw duw llawer o grefyddwyr hyd heddyw; nid oes ganddynt nemawr syniad am ymgrymu o flaen dim ond "llo *aur*." Ystyriaethau o hunanlês sydd yn eu harwain ymhob peth, ac felly nis gallant amgyffred fod dim uwch yn ysgogi neb arall. Llefarant am rinwedd a chrefydd; ond gŵyr pawb o'u cydnabod mai y prif rinwedd yn eu barn hwy ydyw cyfoeth, ac mai tlodi ydyw y pechod anfaddeuol. Eto dyna y dosbarth parotaf i feïo, ac uchaf eu llais i gondemnio, os tybir fod y "bugail" yn tueddu i dalu gwarogaeth i'r llo aur. Chwiliant am achlysur i'w gyhuddo o fod yn ariangar, gan dybied, fel y mae yn naturiol i bechadur, fod camwedd un a ddylai fod yn esiampl iddo yn taflu mantell dros ei anwiredd ef ei hun. Mor wyliadwrus oedd yr apostol i ochel pob "achos tramgwydd mewn dim, fel na feïer ar y weinidogaeth!" Er ei fod yn apostol, ac yn gweithredu arwyddion apostol, yn ŵr uwchlaw drwgdybiaeth mewn pethau arianol, a'i fywyd yn gyfryw ag i argyhoeddi pawb nad oedd "pethau llygredig, megys arian neu aur," yn ddim yn ei olwg, eto cymerai ofal neillduol i beidio gosod ei hunan mewn *false position* gyda'r pwnc yma. Gwyddai fod y syniad mai "masnach" ac "elw" oedd ei weinidogaeth, yn myned o dan wraidd ei ddefnyddioldeb, ac yn dinystrio dylanwad yr efengyl. Am hyny, rhag rhoddi mantais i neb ei ddrwgdybio o gau ddybenion, gwrthodai fod yn gyfrifol am ddwyn y casgl a wnaethpwyd yn Achaia a Macedonia i dlodion Jerusalem. "A phan ddelwyf," medd wrth y Corinthiaid, "pa rai bynag a ddangoswch eu bod yn gymeradwy trwy lythyrau, y rhai hyny a ddanfonaf i ddwyn eich rhodd i Jerusalem." Derbyniodd roddion gan eglwys Philippi; a dywedai wrth ei fab naturiol yn y ffydd, fod "y gweithiwr yn haeddu ei gyflog;" ond dywed fod yn "rhaid i esgob fod yn ddiariangar,". ac mai "gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch." Nid oes a fynom â barnu calonau ein gweinidogion; ond

anmhosibl ydyw gwadu nad oes rhai yn rhoddi achos tramgwydd i'r eglwysi, a lle i elynion gablu, ar bwnc yr arian. Maent yn gofalu mwy nag a weddai am y gyflog, ac yn cynllunio llawn gormod gyda'r degwm Sabbothol. Am y cyfryw, ni ddylem synu fod y fugeiliaeth yn dipyn o fethiant. Mae ystorm wedi codi mewn eglwys cyn hyn yn herwydd chwe' cheiniog, tymhestl mor ofnadwy pan y mae dynion anhywaeth yn y llong, nes gorfodi Jonah, druan, i neidio i'r môr. Mae y gogwydd lleiaf, neu ymddygiad a ellir ei esbonio yn duedd at ffiaidd eilunaddoliaeth cybydd-dod, yn lladd effeithioldeb y weinidogaeth, ac yn peri i'r fugeiliaeth fod yn "fethiant."

2. Diffyg gallu i gyfaddasu eu hunain at amgylchiadau. Nid yr un dull, ac nid yr un geiriau, sydd yn gymhwys at bob dyn ac amgylchiad; ond nid pawb a fêdd yr ystwythder meddwl a'r synwyr angenrheidiol i wneyd ei hunan fel Paul yn bobpeth i bawb fel y gallai yn hollol gadw rhai. Tyfa y dderwen ymhob gwlad; ond rhaid i'r pren almon wrth hinsawdd gynhes, fel yr eiddo Syria, cyn y gall ddwyn ffrwyth i berffeithrwydd. Rhy ychydig o'r derw sydd yn ein plith.

Yn Athen ddysgedig llefara yr Apostol fel athronydd, heb air o sôn am yr Iuddewon na Messïah addawedig; a phrofa ei bwnc, nid trwy ddyfynu adnod, ond llinell o un o'r beirdd mwyaf adnabyddus yn y dyddiau hyny. Y canlyniad oedd, fod Dionysius yr Areopagiad—athronydd, mae yn debyg—wedi credu yr efengyl. Pan ysgrifena at eglwys y Thessaloniaid, yr hon nad oedd yn cynnwys bron neb ond Cenedloedd dychweledig, nid ydyw yn dyfynu nac yn cyfeirio at ysgrythyrau yr Hen Destament. Wrth ysgrifenu at y Corinthiaid, oedd yn byw yn agos i'r lle y cynnelid yr *Isthmian Games*, mae yn gwneuthur cyfeiriad atynt: "Oni wyddoch chwi fod y rhai sydd yn rhedeg mewn gyrfa, i gyd yn rhedeg, ond bod un yn derbyn y gamp?" (1 Cor. ix. 24—27). Pan yn anerch y dyrfa yn Lystra baganaidd, pregetha am Dduw Rhagluniaeth, yr hwn ni adawodd "mo hono ei hun yn ddidyst, gan wneuthur daioni, a rhoddi gwlaw o'r nefoedd i ni, a thymmorau ffrwythlawn, a llenwi ein calonau ni â lluniaeth ac â llawenydd." Yn y synagog Iuddewig yn Antiochia, mae yn pregethu Crist fel cyflawniad o'r addewid a wnaed i Dafydd: "O hâd hwn, Duw, yn ol ei addewid, a gyfododd i Israel yr Iachawdwr Iesu." Pe buasai Paul yn myned i ymweled âg amaethwr mynyddig yn ystod ei weinidogaeth, buasai yn gofalu na chawsai yr amaethwr le i'w ddirmygu oblegid ei anwybodaeth yn mhethau cyffredin amaethyddiaeth. Clywsom am un wrth anerch morwyr yn dyfetha araeth dda, oblegid iddo, pan yn desgrifio ystorm, son am "*reefio y masts*." Adroddir fod Irving wedi ennill cymeradwyaeth rhyw grydd tlawd, yr hwn a ddywedai am dano, "He is a gude man, an' he kens aboot leather,"—mae yn gwybod am ledr. Credwn fod llawer dyn da wedi gwneuthur ei hunan yn annerbyniol i'r bobl trwy ddim ond diffyg ymgydnabyddu mwy â'u hamgylchiadau a'u galwedigaethau. Gallai Paul daranu gerb ron Ffelix am gyfiawnder a dirwest a'r farn a fydd nes peri i'r pechadur hwnw grynu wrth ei wrando; a gallai hefyd yn Melita fyned allan i gasglu briwydd at gynneu tân.

3. Diffyg parch priodol i'r eglwys. Nid gwely rhosynau oedd aml eglwys i'n tadau yn y dyddiau gynt. Codai rhywun ei sawdl yn eu herbyn. Nid oedd pawb yn dawel dan eu teyrnwïalen; ond mae goruchwyliaeth newydd y fugeiliaeth wedi ychwanegu cyfleusderau i ddynion bryntion glwyfo teimladau y gweinidog. Profedigaeth parod i amgylchu llawer pregethwr ffraeth ei dafod, a llym ei ddawn, ydyw dirmygu yr eglwys pan y mae ymddygiadau rhai ynddi yn annheilwng tuag ato. Dichon mai dynion bychain, anwybodus, a rhagfarnllyd, yn cymeryd eu harwain gan rai salwach na hwy eu hunain, ydyw y blaenoriaid. Fe allai fod yn yr eglwys ddau neu dri o fân lenorion—pla Cymru—sydd yn arfer ysgrifenu llythyrau a nodiadau dienw i'r newyddiaduron. Rywdro yn ystod eu bywyd, trwy ddirfawr lafur, llwyddasant i osod aelodau englyn wrth eu gilydd; ac am hyny galwasant eu hunain yn Llew rhywbeth, neu Eos rhywle. Maent yn rhy anwybodus i ddarllen llenyddiaeth Seisonig, ac yn rhy hunanol i ymgydnabyddu â llenyddiaeth oreu iaith eu mam, rhag i hyny effeithio ar eu gwreiddioldeb! Teimlant mai rhan bwysig o'u galwedigaeth yw poenydio y "bugail," beirniadu ei bregethau, beïo y cyfarfodydd eglwysig, ymliw âg ef am na byddai yn ymweled ychwaneg, a chymeryd pob achlysur cyfreithlawn neu anghyfreithlawn i'w ddarostwng. Temtasiwn gref ydyw i'r gweinidog wneuthur flangell o fân reffynau, ac ymosod nid yn unig arnynt hwy, ond hefyd ar yr eglwys sydd yn eu goddef ac yn rhoddi rhyw fath o gefnogaeth iddynt. Hawdd iawn ydyw llithro yn ddiarwybod i ddiystyru yr eglwys gyda'i gilydd, pan nad oes hwyrach ond rhyw ddwsin o'r rhai mwyaf trystfawr a salw yn troseddu. Clywsom yn ddiweddar am weinidog yn adrodd ei helynt wrth un o'i frodyr, ac yn dywedyd, "Os byddai genyf het newydd am fy mhen, cawn glywed rhyw aelod yn dywedyd wrth ei gydymaith, 'Welwch chwi? mae ganddo

het newydd; fi a helpiodd i dalu am dani.'" Mae ymddygiadau dynion isel a ffolion o'r fath hyna yn cynhyrfu holl natur pob dyn o ysbryd annibynol; ac yn wyneb llawer peth cyffelyb, amynedd a doethineb pwy sydd yn ddigon?

Eto gwylier rhag dirmygu yr eglwys. Tebyg yw nad oes ynddi neb yn cynnorthwyo na chalonogi llawer ar y gweinidog yn ei waith, a bod y dynion anhywaith, trwy osod eu hofn ar yr eglwys, yn cael gormod o'u ffordd eu hunain. Er hyny mae yno lawer o bobl dduwiol, dystaw, tawel; ac y mae yr Arglwydd Iesu yn eu canol, a pheryglus yw diystyru y fath gymdeithas. Eglwys lawn o dramgwyddiadau oedd eglwys Corinth. Ceid ynddi heresiau, ymbleidio, llygredigaeth, cenfigen, a bron bob pechod y gellir meddwl am dano; ond mae rhai o'r ymadroddion mwyaf godidog yn y Testament Newydd wedi eu hysgrifenu gan Paul at yr eglwys ddirywiedig hon. Pa le y ceir geiriau mwy prydferth nag yn y ddwy bennod gyntaf o'r Epistol cyntaf at y Corinthiaid? Geilw hwynt yn "eglwys Dduw," "y rhai a sancteiddiwyd yn Nghrist Iesu, a alwyd yn saint;" mae yn diolch i Dduw "bob amser drosoch chwi am y gras Duw a rodded i chwi yn Nghrist Iesu." Am yr ymbleidio annuwiol oedd yn eu plith, dywed mewn tynerwch ac addfwynder, "Ac yr wyf yn attolwg i chwi, frodyr, trwy enw ein Harglwydd Iesu Grist, ddywedyd o bawb o honoch chwi yr un peth, ac na byddo ymbleidio yn eich plith, eithr bod o honoch wedi eich cyfangysylltu yn yr un meddwl, ac yn yr un farn." Yr oedd ymhell iawn o ysgrifenu gair â thuedd ynddo i daflu dirmyg ar yr eglwys fel eglwys; ond yr oedd yn dra helaeth ymhob godidogrwydd ymadrodd a thynerwch ysbryd pan yn ceisio eu dwyn i'r iawn o'u cyfeiliornad am briodas, swper yr Arglwydd, doniau ysbrydol, a'r adgyfodiad. Mae yr eglwys wedi ei phwrcasu â gwerthfawr waed Crist; ac am hyny gofaled pob gweinidog, blaenor, ac aelod ymddwyn tuag ati gyda pharchedigaeth.

4. Attalfa fawr i lwyddiant aml weinidog ydyw, ei fod yn well ac yn fwy ymhob man nag yn y pulpud. Gall y dosbarth yma ddywedyd yn briodol am danynt eu hunain, mai mewn geiriau denu o ddoethineb ddynol y bu eu tipyn pregeth hwy. Ceir ganddynt ddigon o ddaearyddiaeth, amseryddiaeth, a beirniadaeth ysgrythyrol, ond dim "nerth," na dim "eglurhâd yr Ysbryd." Nid ydyw Ymneillduwyr Cymru yn yr un perygl o fyned i lefaru ynfydrwydd plentynaidd â rhai o'n brodyr o'r Eglwys Wladol. Mewn claddedigaeth yn ddiweddar, clywsom Ganon parchedig yn gwneuthur ychydig sylwadau am y marw. Dyma ei ddull: "Ffaith hynod yw, fod ein cyfaill ymadawedig wedi ei eni ar ddydd yr Apostol bendigedig Sant Paul, ac yn cael ei gladdu ar ddydd yr Apostol bendigedig Sant Pedr." Yna aeth ymlaen yn yr un dull plentynaidd i gymharu y marw i Pedr a Phaul! Buasai pregeth o'r fath yn ddigon i dori pen unrhyw fugail yn Nghymru. Nid llawer yn Nghymru sydd mewn profedigaeth i efelychu y seren wibiog hono, y Parch. H. Ward Beecher, yn ei bregeth ar fywyd anfarwol:—"Mae yn anhawdd credu nad oes bywyd parhäol i rai anifeiliaid. Os nad oes gobaith i ambell gi yn y byd arall, beth dan y nefoedd a ddaw o'u meistriaid? Yr wyf yn diolch i Ioan y Dadguddydd am osod ceffylau yn y nefoedd. Os oes y fath uffern ag a ddesgrifir gan Galfiniaeth, dylai llawer o berchenogion y creaduriaid hyn gael myned yno, am eu holl greulonderau tuag atynt!"

Anhawdd ydyw cadw at symlrwydd yr efengyl yn y pulpud pan yn pregethu yn aml yn yr un lle. Nid pawb a all ddywedyd, "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio;" ac anhawdd iawn ydyw i'r pregethwr argyhoeddi cynnulleidfa ei fod yn gwybod Iesu Grist wedi ei groeshoelio ac yn gallu mynegu am dano gyda nerth wrth eraill. Ni wiw ymhelaethu ar y pen yma, gan ei fod yn bwnc rhy ëang i geisio gwneyd cyfiawnder âg ef yn niwedd ysgrif. Teimlwn yn gryf hefyd mai dyma un o'r pethau pwysicaf. Os methiant fydd y bugail yn y pulpud, gellir cyn hir ysgrifenu am dano yn ei holl gylchoedd—METHIANT.

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

### PENNOD IV.

*Ychwaneg o Brofedigaethau.*

O'R braidd y gallaf berswadio fy hun mai adrodd yr ydwyf ffeithiau ynglŷn â fy hanes, ac nid creadigaethau ymdaith yr enaid. Bore dydd Llun ydoedd, ac yr oedd fy mam er ys oriau yn eistedd yn synfyfyriol o flaen y tân, gan bletio ei ffedog. Cefais ganiatâd rhwydd i fyned i'r dref i weled beth a ddeuai o fy mrawd, a'r pump eraill a gymerwyd i'r carchar. Yr

oedd ystrydoedd y dref yn hanner llawn o bobl awyddus a dysgwylgar i'r llys agor. Cyn i mi fod nemawr o fynydau yn y dref, deuwyd o hyd i mi gan fy nghydymaith Wil Bryan. Yr oedd efe bob amser yn dyfod o hyd i mi. Daethum i ddeall yn fuan fod tipyn o ddyddordeb yn cael ei gymeryd ynof, am fy mod yn frawd i un o'r carcharorion, a'r un mwyaf pwysig o honynt ar rai cyfrifon. Cyfarfyddais â rhai o gyfeillion Bob, y rhai a ymholent pa fodd yr oedd fy mam, ac a roisant i mi bob un geiniog. Dywedodd Wil wrthyf, "Cymer ofal o'r ceinioge ene—mi fyddan reit handi *just* rwan." Nid oeddwn yn ei ddeall, ac yr oeddwn yn rhy brudd i ofyn am eglurhâd; ond rhoddwn y credyd iddo bob amser o allu gweled ymhellach na mi. Yn y man tarewais ar eraill o gyfeillion fy mrawd, a chefais ychwaneg o geiniogau, hyd i bump. Ni bûm erioed hyd hyny mor gyfoethog. Perchenogai Wil un geiniog o'i eiddo ei hun, ac annogai efe i ni gydgorffori ein heiddo. Trosglwyddais iddo fy mhum' ceiniog, oblegid nid oeddwn yn gofalu am danynt gan mor brudd oeddwn; ac yr oedd fy ffydd yn ngonestrwydd Wil yn ddiderfyn. Nid cynt y cafodd efe y ceiniogau i'w law nag y llithrodd i siop oedd yn gwerthu *pork pies;* a thybiais ei fod yn myned i wario ein heiddo am y nwydd hwnw, ac nid oedd genyf wrthwynebiad iddo wneyd hyny. Pan ddaeth Wil allan o'r siop, cefais fy siomi wrth ei weled yn dangos ar gledr ei law chwe' cheiniog gwŷn yn gyfnewid am y ceiniogau; a chan roddi winc ddeallgar arnaf, yn ei roddi yn ofalus yn mhoced ei wasgod. Yr oeddwn o hyd yn y tywyllwch pa beth a fwriadai Wil ei wneyd â'r chwe' cheiniog; ac nid wyf yn sicr nad oeddwn yn lled dybied ei fod ef yn pwrpasu ei ddefnyddio i logi twrne i amddiffyn fy mrawd. Ychydig a wyddwn i y pryd hwnw am *charges* rhesymol y dosbarth gonest hwnw o'r hil ddynol!

Yr oeddwn yn hollol yn llaw Wil i wneyd fel a fynai â mi a fy eiddo, pryd y gwelwn gryn gynhwrf, yr hwn a achosid gan ymddangosiad gŵr y Plas yn gyru yn gyflym yn ei gerbyd tua'r llŷs. Efe oedd y prif ustus heddwch. Cyn i fy nghyfaill a minnau allu cyrhaedd y fan, yr oedd yr adeilad eang wedi ei llenwi yn dŷn, a channoedd o bobl fel ninnau yn methu cael mynediad i mewn. O bobtu'r drws yr oedd dau heddgeidwad—corffolaeth o awdurdod—yn dadgan yn bendant fod pob modfedd o'r adeilad wedi ei gorlenwi. Ond dywedodd Wil yn fy nghlust, "Yr ydan ni yn *bound* o gael myn'd i mewn." Nid oeddwn yn gweled pa fodd yr oedd efe yn gallu gobeithio am hyny. Ymhen enyd dechreuodd y dorf lacio tipyn, ac ymwthiodd Wil a minnau i gymydogaeth cob las yr heddgeidwad. Yr oeddym yn union wedi gallu cyrhaedd at y drws. Gorfu i Wil dynu fwy nag unwaith yn y labed cyn galw sylw ei pherchenog. Yn y man gwyrodd yr heddgeidwad ei ben; siaradodd Wil ychydig eiriau yn ei glust, agorodd y swyddog ei lygaid mewn syndod fel pe buasai yn derbyn newydd rhyfedd—ysgydwodd y ddau ddwylaw, a'r foment nesaf yr oedd Wil a minnau wedi ein gollwng i mewn, tra yr oedd cannoedd o ddynion cryfion wedi eu gadael allan. Ond gwyddwn fod ein cyd-eiddo wedi newid dwylaw. Sôn a wna yr Americaniaid am yr "*almighty dollar!*" Twt! gellid ysgrifenu llyfr ar allu gwyrthiol y chwe' cheiniog! Yr oedd Wil wedi cael allan mor fore â hyn mai chwe' cheiniog oedd yr arwyddair—yr "*open sesame*"—i bobman. Yn yr amgylchiad presennol, teimlwn fod fy nghyfaill wedi suddo ein cyd-eiddo i ddybenion rhagorol; a phe buasai yn chwe' swllt ni fuaswn yn grwgnach.

Gwelais yn fuan mai gwir a ddywedodd yr heddgeidwad fod yr adeilad wedi ei gorlenwi. Ond ni chafodd Wil lawer o anhawsder i ddwyn ei hunan a minnau i sefyllfa gyfleus yn y neuadd i allu gweled a chlywed pobpeth. Gwthiai fi o'i flaen fel *wedge* i agor y gynnulleidfa; a phan gaffai hyny yn anhawdd, dywedai wrth y rhai oedd ar ein ffordd, a chryn bwysigrwydd yn ei edrychiad, "Brawd Robert Lewis; brawd Robert Lewis!" a chyda'r gair yr oedd y bobl yn gwneyd llwybr i ni i fyned heibio yn union, fel pe buaswn yn myned i roddi tystiolaeth yn yr achos. Nid oedd derfyn ar ddyfeisiau Wil. Gwyddwn fod Mr. Strangle wedi dychwelyd ychydig oriau ar ol iddo gael ei anfon ymaith; ac efe oedd un o'r rhai cyntaf a welwn yn y llys; ac edrychai yn sarug a herfeiddiol. Ar y fainc eisteddai Mr. Brown y person, a gŵr y Plas. Fel y sylwais o'r blaen, gŵr rhadlawn a charedig oedd Mr. Brown; ond cwbl wahanol ydoedd cymeriad gŵr y Plas. Dyn mawr, afroesgo, meistrolgar ac annhrugarog oedd efe. Tybiai, gellid meddwl, fod pawb a phobpeth wedi eu creu i'w wasanaethu ef; a chredid pe buasai y gyfraith yn caniatâu, na fuasai yn petruso crogi dyn am ladd *phesant*. Yr oedd gerwindeb ei natur fileinig fel pe buasai wedi ei dyfrhâu—neu yn hytrach ei gwinhâu—yn rhy fynych, ac mewn canlyniad wedi gordyfu trwy groen ei wyneb, yr hwn a ymddangosai fel darn anmrwd o *American beef*. Addurnid (?) ei wyneb â chlamp o drwyn mawr, yn yr hwn yr oedd math o gryndod parhâus, a thrwy yr hwn yr oedd ei berchenog, pan fyddai wedi ei gynhyrfu, yn ffroeni fel rhyfelfarch. Methwyd erioed a chael allan pa gymhwysderau eraill a

osododd ŵr y Plas ar y fainc farnol, heblaw ei fod yn Dori rhonc, yn Eglwyswr zelog, yn ŵr cyfoethog, a'r ffaith ei fod bob amser yn gwisgo yspardynau oddieithr pan fyddai yn ei wely. Addefai hyd yn nôd Mr. Brown fod arno ei arswyd; a sylwais fy hunan pan fyddai y gŵr tirion a pharchedig yn ymddyddan âg ef ar yr heol ei fod yn barhâus yn edrych yn ammheus ac yn wyliadwrus ar yr yspardynau, fel pe bu asai yn ofni i'r gwisgwr neidio yn sydyn ar ei gefn a'i yru——wel, i'r lle yr oedd y gwisgwr ei hun yn myned yn gyflym, ysywaeth. Ymddangosai y bore Llun hwnw "yn ei figwrn," fel y dywedai Wil Bryan. Yr oedd cael ychydig o'r glöwyr druain o'i flaen yn ysglyfaeth flasus ganddo, am y credai eu bod oll yn herwhelwyr. Gwyddai y rhai a fynent wybod nad oedd ond tri o'r chwe' charcharor oedd o'i flaen wedi cymeryd rhan yn yr ymosodiad ar Mr. Strangle. Ymdrechasai Morris Hughes, John Powell, a fy mrawd, attal y ffolineb. Ond tystiai Mr. Strangle a'r ddau heddgeidwad fod y tri yn benaf gwŷr yn y gwaith anfad; ac er na ddeallai y goruchwyliwr na'r heddgeidwaid air o Gymraeg, cymerent eu llw mai Bob oedd wedi annog yr ymgyrch, oblegid, meddent, clywsent ef yn enwi Mr. Strangle pan ruthrwyd arno gan y gweithwyr. Nid oedd gan y carcharorion neb i'w hamddiffyn, a hyny o herwydd ystyfnigrwydd fy mrawd. Ni fynai ef neb i'w amddiffyn, a dilynwyd ei esiampl gan y lleill. Derbyniai gŵr y Plas dystiolaeth y swyddogion yn chwannog; ac nid oedd dim yn rhy ddrwg ganddo i'w gredu am y cyhuddedigion.

Wedi iddo wrando y tystiolaethau, gofynodd o ran ffurf i'r carcharorion a oedd ganddynt ryw amddiffyniad i'w wneyd. Wrth gwrs, nid oedd gan dri o honynt ddim i'w ddyweyd, oblegid yr oeddynt yn eithaf euog o'r trosedd y cyhuddid hwy o hono; ac nid oedd Morris Hughes na John Powell yn rhyw fedrus iawn ar siarad —yn enwedig yn Saesoneg. Ar ol eiliad neu ddau o ddystawrwydd, dywedodd Bob ei fod ef yn ateb drosto ei hun—ei fod yn hollol ddieuog o gymeryd rhan yn yr ymosodiad ar Mr. Strangle, ac nid hyny yn unig, ond ei fod wedi gwneyd ei oreu i'w amddiffyn, ac mai hyny yr oedd yn ei wneyd pryd y taräwyd ef gan yr heddgeidwad. Ar hyn gwênodd gŵr y Plas yn wawdlyd, ac ebe efe,

"A ydych yn dysgwyl i'r Fainc gredu peth fel hyna ar ol yr holl dystiolaethau a wrandäwyd?"

"Digon prin yr wyf yn dysgwyl i'r Fainc gredu dim a ddywedaf fi," ebai Bob, "am y rheswm fy mod yn dyweyd y gwir; a phe buasai o ryw ddyben, gallaswn ddwyn amryw o lygaid-dystion mai gwir yr wyf yn ei ddywedyd."

"Amryw oeddynt yn yr un bai a chwithau yn ddiammheu," ebai gŵr y Plas yn ddirmygus. "Pe gwrandawem arnoch chwi, ni wnaethoch erioed ddim allan o'i le; ni ddywedasoch erioed anwiredd. Ond yr ydym yn dygwydd gwybod rhywbeth o'ch hanes cyn heddyw. Ydym siŵr! Yr ydych chwi, siŵr, eisieu gwneyd y meistriaid yn weithwyr a'r gweithwyr yn feistriaid. Ond aroswch dipyn! Ni a gawn weled yn union deg pa fodd y mae gwneyd areithiau yn talu. Yr ydym wedi clywed am danoch chwi o'r blaen; ac yr ydym yn adnabod eich teulu chwi, ŵr ifanc, cyn heddyw."

"Nid oes a wnelo fy nheulu ddim â'r cyhuddiad a roddir yn fy erbyn i heddyw," ebe Bob.

"Yr ydym ni yn dyweyd fod a wnelo fo bobpeth," ebe'r ustus.

"Os felly, gwell fyddai i chwi gyrchu fy mam yma," ebe Bob.

"Na," ebe'r ustus, "yr ydych chwi yn llawn ddigon; nid oes arnom angen am hen wragedd yma."

"Beth a wyddwn i," ebe Bob yn ysgoegaidd, "nad oedd arnoch angen am un arall ar y Fainc?"

"Dim o'ch trahausdra, ŵr ifanc, rhag y bydd yn rhaid i chwi dalu am dano," ebe gŵr y Plas yn ffyrnig.

Cynghorasai fy mam lawer ar Bob i ddysgu attal ei dafod; ond yr oedd y dasg yn rhy galed iddo; a'r rheswm a roddai efe bob amser iddi am ei anallu a fyddai, ei fod yn fai oedd yn perthyn i'r teulu.

Wedi i ŵr y Plas siarad gair neu ddau yn gyfrinachol â Mr. Brown, yr hwn a edrychai yn ufudd-ofnus yn ei lygaid, ebe efe,

"Nid ydyw y Fainc yn gweled fod un anghenrheidrwydd am *remand;* mae y tystiolaethau yn ddigonol gan y Fainc. Mae y Fainc yn gofidio na buasai ychwaneg o'r dyhirod wedi eu dwyn o'i blaen i dderbyn yr hyn a haeddant; ond y mae y Fainc yn penderfynu gwneyd esiampl o'r rhai a ddygwyd ger ei bron. Ac y mae'r Fainc yn penderfynu dangos mai y meistr sydd i fod yn feistr, ac mai gweithiwr ydyw y gweithiwr i fod. Ac y mae'r Fainc am ddangos i'r glöwyr nad ydynt i gymeryd y gyfraith yn eu llaw eu hunain, a bod dynion cymhwys wedi eu gosod i weinyddu y gyfraith. Ac y mae'r Fainc yn penderfynu dangos fod y gyfraith yn gryfach na'r glowyr, gan nad pa mor liosog ydynt. Ac felly mae y Fainc yn dedfrydu pump o honoch, sef Morris Hughes, John Powell, Simon Edwards, Griffith Roberts, a John Peters, i un mis o

garchar gyda llafur caled, a Robert Lewis i ddau fis o garchar gyda llafur caled, am fod y Fainc yn credu mai efe ydyw y prif gynhyrfwr. Ac y mae'r Fainc yn hyderu y bydd hyn yn rhybudd nid yn unig i'r carcharorion, ond i eraill a ddylasent fod yn yr un sefyllfa a hwynt, y rhai sydd yr un mor euog nid yn unig o greu cynhwrf a thori y gyfraith yn y wêdd yma, ond hyd yn nôd o herwhela ar ystadiau boneddigion."

Cà'n gynted ag y traddodwyd y ddedfryd, dechreuodd pawb yn y llys ymwâu drwy eu gilydd fel gwenyn; ac yr oedd cynhwrf y bobl yn myned allan, ac yn siarad mor uchel, fel mai prin y gallwn glywed fy hunan yn crïo, yr hyn a wnaethum i bwrpas. Cydymdeimlai Wil â mi yn fawr, a gwnaeth ei oreu i fy nyddanu. Mor ddwys oedd fy ngofid fel nad allai fy nghyfaill am fynyd ddyfeisio pa fodd i'w liniaru. Y fynyd nesaf tarawyd ef gan feddwl sydyn, ac estynodd i mi ei holl eiddo, sef ei gyllell boced; a dywedodd gyda phwyslais ei fod yn ei rhoddi i mi *am byth*. Mae y gyllell genyf hyd heddyw; ac er nad ydyw yn werth chwe' cheiniog, yr wyf yn ei rhestru gyda hatling y wraig weddw, ac yn ei phrisio fel aberth calon lawn o gydymdeimlad diragrith, ac ni fynwn er llawer ymadael â hi. Yr oedd y dyddordeb a deimlid yn y carcharorion i'w weled yn maint y gynnulleidfa oedd erbyn hyn tu allan i'r llŷs, yr hon oedd yn anfoddlawn i ymadael nes cael yr olwg olaf arnynt yn cael eu cymeryd i garchar y sir. Gallaf sicrhâu fod mwyafrif mawr gweithwyr y Caeau Cochion yn ddynion sobr, diwyd, a moesol; ond yn eu plith hwythau, fel y mae yn dygwydd yn gyffredin mewn gweithfeydd mawrion, yr oedd amryw o ddynion dibris o'u cymeriad, a thueddol i yfed i ormodedd; a'r gresyn ydyw fod y dosbarth goreu yn fynych yn cael anair o'u herwydd. Y bore hwnw yr oedd y dynion dibris y cyfeiriwyd atynt wedi bod yn yslotian hyd y tafarndai, ac yn waeth eu hwyl a'u tymher o'r herwydd. Ond gwelaf fy mod o hyd yn llithro i fanylu, er i mi addaw i mi fy hun wrth ddechre yr ail ran o fy hanes, na wnawn hyny. Pa fodd y bu i rai o'r glöwyr ymosod yn ffyrnig ar yr heddlu pan oeddynt wrth eu dyledswydd yn cymeryd fy mrawd a'i gymdeithion i'r carchar—pa fodd y bu i'r troseddwyr hyny drachefn gael eu cymeryd i fyny, eu profi a'u cael yn euog—pa fodd y bu i'r milwyr gael eu galw allan, ac iddynt hwythau gael ymosod arnynt a'u clwyfo—a pha fodd y bu i'r milwyr dan brofedigaeth lem agor tân ar yr ymosodwyr, a lladd amryw, ac yn y blaen—ni pherthyn i mi adrodd, gan nad oes a wnelo hyny â fy hanes. Gallaf ddyweyd cymaint a hyn: pan oedd y cynhwrf yn ei bwynt uchaf, yr oedd cydymdeimlad y mwyafrif, ac yn eu plith rai gwŷr goleubwyll, yn ffafr y glöwyr; ond wedi i bethau dawelu, ac wedi cael egwyl i edrych yn bwyllog ar yr amgylchiadau, yr oedd yr un rhai yn gorfod cydnabod annoethineb ac anfoesoldeb yr holl helynt, ac yn gorfod teimlo hefyd gydag arswyd i ba fath eithafion dychrynllyd y gall hyd yn nôd pobl synwyrol a chrefyddol gael eu harwain pan lywodraethir hwynt gan eu tymherau, ac nid gan reswm a gras.

Cof genyf fod arnaf ofn myned adref wrth feddwl am brofedigaeth fy mam o herwydd y gwarth a ddygwyd arnom; oblegid gwyddwn fod rhywun eisoes wedi ei hysbysu am yr hyn a ddygwyddasai i fy mrawd. Ofnwn y byddai yn angeu iddi. Ond yn hyn siomwyd fi o'r ochr oreu; a da genyf adgofio y diwrnod hwnw fel prawf o'r hyn a all gwir grefydd ei fforddio i'w pherchenog yn nydd trallod. Pan oeddwn yn myned i'r tŷ, cyfarfyddais â dwy gymydoges yn dyfod allan wedi bod yn cysuro fy mam. Canfyddwn ar ruddiau fy mam ôl wylo mawr; ond synwyd fi yn anferth wrth ei gweled mor gysurus. Yr oedd y wên oedd ar ei hwynebpryd fel y bwa yn y cwmwl ar ol cawod o wlaw trwm, ac yn dangos yn eglur i mi nad oedd Duw wedi anghofio ei gyfammod â hi. Yr wyf yn meddwl y gallaf gofio yn gywir yr hyn a ddywedodd wrthyf y prydnawn hwnw. Ymhlith pethau eraill, ebe hi,—

"Wel, fy machgen, y mae hi yn myn'd yn waethwaeth arnom ni o hyd. Ond y mae rhwbeth yn deyd wrtha i y daw gole yn fuan. Po dwlla'r nos agosa'r wawr, a tyna bo'r llinyn cynta tyr. Mae a fyno yr Arglwydd, mi greda, rwbeth â hyn. Mae yn rhaid twmo y ffwrnes yn saith poethach ar amseran cyn y daw dull y Pedwerydd i'r golwg. Ond ddaru i mi ddim dychmygu y base hi yn dwad mor dost ar dy frawd; ond dydw i'n meddwl dim llai o hono fo am hyny. Mi wn fod o yn ddieuog, achos ddeydodd o erioed anwiredd wrtha i, ac y mae ei waeth ganwaith â'u traed yn rhyddion. Er yn blentyn yr oedd o yn rhy barod hefo'i dafod, a'r holl helynt ges i hefo fo oedd pan fydde fo yn deyd gormod o wir. Roedd o dipyn yn rhy benderfynol yn ei feddwl, a dyna'r achos iddo fo adel y seiat. Ond yr oedd o'n byw yn well na llawer o honom ni sydd yn proffesu. Pwy ŵyr nad amcan y Brenin Mawr drwy'r cwbl ydi gael o'n ol, a dangos iddo fo fod o wedi colli'r cysgod a'r amddiffyn?"

Yr wyf wedi sylwi byth er hyny fod y fam, pan oddiweddir ei bachgen gan warthrudd, yr un modd a phan oddiwedd-

i'r ef gan angeu, yn anghofio ei holl feiau, ac yn ymbleseru wrth ddwyn i'r amlwg ei rinweddau.

"Mi fydde yn o anodd gen i feddwl," ychwanegai fy mam, "nad ydi Bob yn gristion. Os nad ydi o yn y tŷ, mae o'n perthyn i'r teulu, yr ydw i'n o siŵr, ac hwyrach mai o wlad bell y carchar y codiff hireth arno am dŷ ei Dad. Fath olwg oedd arno fo, dywed? Oedd o'n edrach yn symol? A mi roedd o? Rhyfedd fel y mae'n gallu cymyd pobpeth mor dawel. Mi wn o'r gore be sy'n blino mwya ar 'i feddwl o—a hyny ydi be ddaw o honom ni'n dau—sut y cawn ni damed, achos fu rioed fachgen ffondiach o'i fam, 'y ngwas gwirion i!"

Yn y fan torodd fy mam i wylo, a chynnorthwyais innau hi yn y gorchwyl. Wedi ymdawelu, ebe hi,—

"Ydyn nhw yn cael Bibl yn *jail*, dywed? A mae nhw! Mae'n dda gen i glywed; ond o ran hyny mae Bob yn gwbod digon o Fibl i gnoi ei gil arno fo am ddeufis beth bynag. Y peth sy'n fy leesio i fwya ydi na faswn i wedi cael golwg arno fo. Roedd o'n edrych dipyn yn oer yna' i beidio myn'd i'r *hall*, ond faswn i yn y myw yn codi allan rwfodd. Wyt ti'n meddwl y cae o lythyr bydâe ni'n sgrifenu? A mi rwyt ti? Wel da i ddim i gysgu heno nes i ti yru gair ato fo. Mae'n dda gen i dy fod yn dipyn o slaig, achos does dim eisio i bawb wybod y'n seiens ni."

Yna bu raid i mi fyned ati i ysgrifenu llythyr. Ar annogaeth fy mam ysgrifenais ef i ddechre ar ddalen wâg o *copy book*, "rhag ofn," ebe hi, "y byddwn ni eisio i altro fo." Mae y copi hwnw yn fy meddiant yn awr, ac hwyrach nad allaf wneyd yn well na gorphen y bennod hon trwy ei adysgrifio. Nid oes dim neillduol yn ei gynnwysiad; ond yr hyn sydd yn ei wneyd yn werthfawr i mi ydyw y profion sydd ynddo o gydnabyddiaeth fy mam â'r Bibl. Mae yn gu genyf gofio na ddarfu iddi, tra yn geirio y llythyr i mi, ymgynghori gymaint ag unwaith â'r Gair, er ei bod yn enwi y bennod a'r adnod wrth ei ddefnyddio. Rhoddaf ef i lawr yn gymhwys fel y geiriodd hi ef, oddieithr ychydig gywiriadau yn y weriniaith lle y mae y meddwl yn aneglur.

"Anwyl Fachgen,—

Yr ydw i'n sgrifenu hyn o leinia atat ti gan obeithio dy fod yn iach fel yr ydan ninne. Yr ydw i yn teimlo yn gymysglyd ac yn bethma iawn, a mi wn mai felly rwyt tithe. Mae fy ymadrodd heddyw yn chwerw —Job y drydedd bennod ar hugen a'r ail adnod. Ond pwy a ddywed y bydd dim heb i'r Arglwydd ei orchymyn—Galarnad y drydedd bennod a'r eilfed adnod ar bymtheg ar hugen. Mi wn o'r gore y byddi di yn trwblo dy feddwl am danom ni fel y byddwn ninne am danat tithe; ond yr ydw i yn gobeithio y gwyddost di i ble i droi, fel yr oeddet ti yn deyd y gwyddwn i pan oeddet ti'n gadel y tŷ nos Sadwrn. A galw arnaf fi yn nydd trallod, mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi —y ddegfed Salm a deugain a'r bymthegfed adnod. Os nad ydw i'n twyllo fy hun yn fawr, yr ydw i'n meddwl y mod i wedi cael cyflawniad o'r addewid ene heddyw. Anwyl fachgen, mae gen i ofn garw i ti roi dy galon i lawr a cholli dy iechyd, am i ti gael dy roi yn *jail* ar gam. Hwyrach y bydd o yn rhw swcwr i ti gofio am y rhai hyny y mae y sgrythyr yn son am danyn nhw gafodd eu rhoi yn y carchar ar gam fel tithe, ac y darfu i'r Arglwydd ddangos ar ol hyny nad oeddan nhw ddim wedi haeddu bod yno. Os cei di hamdden, tro i'r mane canlynol,—Genesis y bedwaredd bennod ar bymtheg ar hugen. Actau y bummed bennod a'r wythfed a'r unfed bennod ar bymtheg. A chofia hefyd mai o garchar ac o farn y cymerwyd EF. Y drydedd bennod ar ddeg o Esaiah a'r wythfed adnod. Mi wyddost yr helynt y bum ynddo hefo dy dad; ond y mae'r helynt heddyw yn bur wahanol. Yr ydw i yn lled siŵr os daru i ti fisio tipyn dy fod ti yn eithâ gonest, a bod dy gydwybod yn dawel fel roeddat ti yn deyd; ac os bydd hyny yn rhwbeth gynat ti i feddwl am dano, er dy fod yn y *jail*, 'dwyt ti fymryn gwaeth yn ngolwg dy fam, ac mi obeithia nad wyt ti'n waeth yn ngolwg dy Brynwr chwaith. 'Run pryd, yr ydw i yn gobeithio yn fawr y doi di i weled 'rwan dy fod wedi digio Gŵr y tŷ am adael y seiat; ac er y mod i yn credu nad 'dwyt ti 'namser yn ddiarth i bethau mawr yr efengyl, yr ydw i yn hyderu y ca' i dy weled, ar ol i bethe dawelu, yn troi dy wyneb i'r cysgod. Anwyl fachgen, mae'r gwynt yn gry' a'r tòne yn codi; ond os down ni trwy hyny i waeddi ar y Meistar i'n cadw, pobpeth yn dda. Darllen yr wythfed o Luc, a'r wythfed o'r Rhiwfeiniad. Os caiff Morris Hughes a tithe fod hefoch gilydd, fydde fo harm yn y byd i ch'i roi tiwn ambell dro, fel y daru i Paul a Silas gynt, a wn i am yr un pennill gwell i ch'i nag un Ann Griffis,—

> 'Mae bod yn fyw yn fawr ryfeddod,
> Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth.'

Mi wyddost sut y mae o'n gorphen, a phwy ŵyr na chewch ch'i hwyl wrth ganu am y Gŵr â'r wyntyll yn ei law? Pared Duw mai felly byddo? Mi faswn yn leicio deyd parsel o bethe wrthat ti; ond rhaid rhoi pen. Cadw dy ysbryd i fyny; dydi dau fis ddim llawer, mi ddôn i ben yn fuan. Gweddïa ddydd a nos; ac os byddan nhw yn dy rwystro di i ddarllen, fedr neb dy rwystro i weddïo. Yn y meddwl i yr oeddat ti yn syffisiant o fachgen o'r blaen, heblaw un peth; ond y mae rhwbeth yn deyd wrtha i y byddi yn well dyn byth ar ol yr helynt hwn. Yr ydan ni yn cofio atat ti yn arw iawn. Hyn yn fyr oddiwrth dy anwyl fam a brawd,

MARY A RHYS LEWIS.'

Wedi i mi ei adysgrifenu a'i ddarllen lawer gwaith drosodd i fy mam, rhoddais ef yn ofalus mewn *envelope*, a chyfeiriais ef; ond mynodd fy mam i mi roddi *haste* ar ei gongl; ac o herwydd nad oedd ganddi lawer o ffydd mewn *gum*, mynodd hefyd ychwanegu cŵyr coch a gosod argraff ei gwnïadur arno. Wedi gorphen y cyfan, ymddangosai yn dawel ac ymroddol i drefn Rhagluniaeth. Pa fodd y bu i garchariad fy mrawd effeithio ar ein hamgylchiadau, a ffurfio cyfnod yn fy hanes, fydd pwnc y bennod nesaf.

---

### Y DULL GOREU I DDWYN Y CYFARFOD EGLWYSIG YMLAEN.

*Gan y Parch.* B. Hughes, *Llanelwy*.

*(Parhâd o tu dal.* 99.)

Dylem fod yn wyliadwrus iawn hefyd rhag gosod rheolau caeth i ddwyn y cyfarfod ymlaen. Er y rhaid gwneuthur pob peth yn "weddus ac mewn trefn" yn yr eglwys, eto y mae trefniadau anhyblyg dynol yn elfenau o aflwyddiant. Dylem gadw ymhell hefyd oddiwrth gwestiynau dadleuol yn y cyfarfod eglwysig, ac oddiwrth ymadroddion chwerwon; ac fe ddylid bod yn ochelgar rhag traddodi areithiau hirion a sychion; oblegid y mae tuedd ymhob un o'r pethau hyn i achosi i'r cyfarfod fod yn anfuddiol. Heb gyfeirio at ychwaneg o'r pethau hyny sydd yn milwrio yn erbyn dylanwad daionus y cyfarfod, ni a nodwn rai pethau sydd yn tueddu i wneuthur y cyfarfodydd eglwysig yn effeithiol.

Arfer er *prydlonrwydd* gyda phob rhan o waith y cyfarfod, a bydded pawb yn gynnil iawn o'r amser gwerthfawr. Os gellir mewn un modd, dechreuer y cyfarfod i'r fynyd y cyhoeddwyd ef, sef y gwir amser. Ond os bydd yr aelodau mewn rhai eglwysi yn byw ymhell o'r capel, ac yn gorfod dilyn eu gorchwylion hyd yn ddiweddar ar y diwrnod, fel nas gallant ddyfod ynghyd erbyn yr adeg y cyhoeddwyd y moddion, byddem ni yn barod i roddi pum' mynyd o ras i'r ardal hono ar *noson waith;* ond nis rhoddem yr un fynyd o ras na thrugaredd yn hyn i'r ardal hono ar y dydd Sabboth. Gan hyny, os na ellir dechre y cyfarfod eglwysig yn brydlawn am saith o'r gloch ar noson waith, dechreuer bum' mynyd wedi saith i'r foment. Y canu fyddo yn fywiog, y darlleniad o'r gair yn eglur, a'r weddi yn afaelgar, ac amcaner cael y gwasanaeth dechreuol drosodd mewn tuag ugain mynyd. Yna gwrandawer ar y plant yn adrodd eu hadnodau yn fywiog, a rhodder ychydig o annogaethau caredig iddynt; ac, os gellir, gorphener gyda'r plant erbyn hanner awr wedi saith. Yna dechreuer ar y rhan adeiladol o waith y *society*. Wedi i frawd neu ddau wneuthur sylwadau byrion ar bregethau y Sabboth, neu ynte rhyw bethau buddiol eraill, mewn ffordd o ragarweiniad, rhodder cyfleusdra i aelodau yr eglwys adrodd eu profiadau crefyddol o honynt eu hunain. Os na bydd parodrwydd yn y frawdoliaeth i ddyweyd o honynt eu hunain, aed un o'r swyddogion at rai o'r aelodau na buont yn dyweyd dim er ys cryn amser, neu at rai sydd wedi bod yn ddiweddar mewn profedigaethau chwerwon, neu at rai o'r aelodau yr ofnir eu bod yn ddiorchwyliaeth ac yn cerdded o hirbell. Wedi ymddyddan yn fywiog a charedig â dau neu dri o'r aelodau, bydded i un neu ddau o'r swyddogion eraill wneuthur sylwadau pwrpasol i'r ymddyddan fu, a hyny gyda'r amcan o adeiladu a chysuro y rhai y buwyd yn ymddyddan â hwynt, yn gystal ag at leshâd yr holl frawdoliaeth. Yna bydded i swyddog arall fyned i ymddyddan â nifer ychwanegol o frodyr neu o chwïorydd, gan fod yn ddoeth ac yn fywiog gyda'r gwaith; a gwnaed y swyddogion eraill sylwadau eilwaith ar natur a chynnwys yr ymddyddanion, ac felly deirgwaith neu bedair yn olynol. Hwyrach y bydd teimladau yr eglwys wedi dwysâu erbyn hyn, a graddau o hwyl yn y gymdeithas, fel y bydd perygl anghofio yr amser i derfynu. Ond dybenu a raid, a dylid hwylio at hyny tua chwarter neu ugain mynyd wedi wyth, er mwyn terfynu y cyfarfod yn ei flas. Galwer brawd i fyned i weddi yn fyr ac yn wresog, gan roddi allan hen bennill efengylaidd i'w ganu ar hen dôn orfoleddus Gymreig, megys y pennill hwnw,—

"Braint, braint,
Yw cael cymdeithas gyda'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint, &c.;"

neu

"Daeth trwy
Ein Iesu glân a'i farwol glwy,
Fendithion fyrdd, daw eto fwy, &c.;"

neu

"Mae'r Oen fu ar Galfaria
Wrth fy modd," &c.

Fel hyn fe fydd y cyfarfod yn terfynu gyda gwlith bendith, a'r cyfeillion yn ymadael gan ddyweyd mai da iddynt oedd bod yno, gan hiraethu am y *society* ganlynol.

Amcanwn hefyd at *amrywiaeth* yn y cyfarfod eglwysig—amrywiaeth *materion* ac amrywiaeth *dull*, gan fod yn ddoeth i gymeryd mantais o amrywiaeth amgylchiadau. Rhaid symud ymlaen gyda gwaith

a materion yr eglwys, fel yr oedd Israel yn symud ymlaen yn yr anialwch, sef yn ol symudiadau y golofn. Y mae y cadben medrus yn hwylio ei lestr yn ol yr amgylchiadau: y mae yn cyfaddasu yr hwyliau at y gwynt a'r tònau, ac yn gwneuthur y defnydd goreu o'r manteision sydd yn ei gyrhaedd. Felly y dylai swyddogion eglwys Crist fod yn ddigon doeth a llygadog i adnabod tymher ac amgylchiadau y cyfarfod eglwysig er mwyn deall pa fodd i hwylio ymlaen at fuddioldeb. Os na bydd yr aelodau mewn tymher i adrodd eu profiadau mewn ambell gyfarfod, pa niwed fyddai ei droi weithiau yn gyfarfod darllen, neu yn gyfarfod canu, neu yn gyfarfod holi, neu yn gyfarfod gweddi? Pa niwed fyddai troi yr eglwys weithiau yn ysgol—troi Sïon yn berorfa *(orchestra)* i ddysgu canu ei chaniadau? Pa niwed fyddai troi y cysegr yn ysgoldŷ i gyfranogi o seigiau gwerthfawr yr iachawdwriaeth? a pha niwed fyddai troi corlan Crist yn ardd o amrywiol ffrwythau? Y mae yr eglwys yn cael ei galw yn ardd. "Daethum i'm gardd, fy chwaer a'm dyweddi; cesglais fy myrr a'm perarogl, bwyteais fy mîl gyda'm mel; yfais fy ngwin gyda'm llaeth." Y mae hyn yn dangos fod amrywiaeth i fod yn y cyfarfod eglwysig.

Y mae *cymhwysderau neillduol* yn angenrheidiol i gadw y cyfarfod eglwysig i fuddioldeb, — cymhwysderau naturiol, a doniau grasol, a chyrhaeddiadau sydd i'w hennill trwy ddarllen a llafurio. Y mae eisieu doethineb a barn, a medr a deheurwydd arbenig, i gadw y cyfarfod eglwysig i'r fantais oreu. Gan fod llawer o holi *am* brofiadau, ac *ar* brofiadau yn y *society*, dylai y cwestiynau fod yn ddoeth, yn dyner, ac yn ddeniadol, ac er addysg ac adeiladaeth yr holl eglwys. Da fyddai fod gan swyddogion lygaid i adnabod tymherau yr aelodau, a dawn i allu gwahaniaethu rhwng natur a gras—rhwng y teimlad o ffydd a rhyfyg—rhwng edifeirwch efengylaidd ac edifeirwch deddfol — rhwng awelon ysbrydol a llawenydd rhyfygus. Y mae yn anghenrheidiol fod y swyddogion yn gallu yn fwynaidd gymhwyso yr ymgeledd angenrheidiol i'r aelodau yn ol ansawdd eu teimladau; i'r ieuainc fel rhai ieuainc, ac i'r hen ac oedranus fel y cyfryw. Y mae y swyddog ymgeleddgar i fod ar yr un pryd yn dad, yn frawd, yn was ffyddlawn yn rhoddi cyfluniaeth maethlawn i'r teulu, ac yn ei roddi yn dwymn ac yn ei amser—yn gallu llefaru gair mewn pryd wrth enaid diffygiol. Ond pa mor werthfawr bynag ydyw cymhwysderau naturiol, a chyrhaeddiadau dynol, i gadw'r cyfarfod eglwysig, rhaid dyweyd mai y cymhwysderau mwyaf pwysig ydyw y doniau grasol; ac os bydd swyddogion yr eglwys yn dduwiol ac yn meddu graddau uchel o grefydd ysbrydol, y mae y cymhwysderau penaf i gadw *society* yn eu meddiant. Megys y mae "duwioldeb yn fuddiol i bob peth," felly y mae ysbryd crefydd ac ysbryd gweddi yn gymhwysder mawr i gadw y cyfarfod eglwysig, er bod yn ddiffygiol mewn llawer o bethau eraill. Hyn oedd yn gwneuthur ein tadau — yr hen bregethwyr a'r hen flaenoriaid, mor fedrus i gadw'r cynnulliad eglwysig, sef eu crefydd ddofn: dyfnder eu hargyhoeddiad o bechod, ac o druenusrwydd eu cyflwr, ynghyd a'u hadnabyddiaeth o Grist a'u cariad gwresog tuag ato. Yr oedd hyn yn gwneuthur eu profiadau yn frwdfrydig—yr oedd zel tŷ eu Duw yn eu hysu, ac yr oedd y ddoethineb sydd oddiuchod yn eu dyrchafu yn llawer uwch na hwy eu hunain, fel er nad oedd llawer o honynt ond gwŷr anllythyrenog, eto eu bod yn ngrym ac yn ngoleuni eu crefydd yn gallu dwyn allan o'u trysorau bethau newydd a hen. Y mae yn bwysig iawn i gynnydd crefydd ysbrydol yr aelodau, ac hefyd i lwyddiant crefydd yn yr eglwys ac yn y wlad yn gyffredinol, fod y cyfarfod eglwysig yn parhâu i gael ei gadw yn fuddiol, ac na byddo yn dirywio yn ei natur nac yn ei effeithiolrwydd. Y mae y ffaith fod rhai miloedd o *societies* ar nosweithiau yr wythnos (heb gymeryd i'r cyfrif y rhai a gynnelir ar y Sabboth) yn cael eu cynnal mewn blwyddyn o fewn terfynau un Cyfarfod Misol, yn ein cymhell i ofyn yn ddifrifol a ydyw yr amcanion gwerthfawr sydd iddynt yn cael eu cyrhaedd. Tybier fod Cyfarfod Misol yn rhifo dim ond 60 o eglwysi: dyna o fewn terfynau y Cyfarfod Misol hwnw 3120 o *societies* wythnosol yn cael eu cynnal mewn un flwyddyn! ac yn holl eglwysi y Cyfundeb y mae y nifer mawr o 61,308 yn cael eu cadw ar nosweithiau yr wythnos yn nghorff blwyddyn o amser! Dylai y ffeithiau hyn wasgu yn ddwys at ein hystyriaethau y cwestiwn, A ydyw y fath helaethrwydd o foddion gras yn cael eu dwyn ymlaen genym i'r fantais oreu? Boed i ni amcanu at fuddioldeb ymhob cyfarfod eglwysig. Da fyddai cael *societies* toddedig a hwyliog weithiau, oblegid fel y dywedodd y Parch. David Jones, Treborth, "Y mae cael un *society* dda a gwlithog unwaith mewn chwarter blwyddyn yn talu yn dda am ddyfod i'r deuddeg arall." Ond os na chawn bob amser y cyfarfod yn wlithog a gorfoleddus, gallwn yn wastad ei gael o duedd fuddiol ac adeiladol.

Ond pa fodd y cawn y cymhwysderau a nodwyd i gadw y cyfarfodydd eglwysig? Ac a oes rhyw obaith y ceir *societies* gwlithog a gorfoleddus eto, megys y rhai a gafwyd yn y blynyddoedd gynt? Wel, ni raid i ni ddyweyd fod y cymhwysderau

pwysig a nodwyd i'w cael trwy feithriniad dyfal o grefydd ysbrydol yn ein calonau ni ein hunain yn bersonol, a thrwy gymdeithas agos a mynych â'r Tad ac â'i Fab Ef, Iesu Grist. Cymundeb personol â Duw yn Nghrist sydd yn sicrhâu cyfeillach grefyddol hapus yn yr eglwys. "Os câr neb fi, efe a geidw fy ngair, a'm Tad a'i car yntau, a nyni a ddeuwn ato, ac a wnawn ein trigfa gydag ef." Y mae i'r swyddogion a'r aelodau gael cymdeithas bersonol gyda'r Tad a chyda'i Fab Ef, yn ernes o gymdeithas wlithog a gorfoleddus yn yr eglwys. Wrth ddarllen am y gwleddoedd ysbrydol a gafwyd lawer gwaith mewn *societies* yn y dyddiau gynt yn y Bala, Bont Uchel, Tanyfron, Prion, Cefn Meiriadog, Henllan, &c., pan oedd y nefoedd yn disgyn i'r ddaear, a'r ddaear yn cael ei dyrchafu i'r nefoedd—yr hen seintiau yn cael goruchafiaeth ar eu gelynion, yn anghofio eu gofidiau, ac yn gwledda ar rawnsypiau y Ganaan nefol a gariwyd iddynt i'r anialwch ar drosolion yr addewidion—wrth ddarllen am y pethau hyn a chlywed ein tadau yn sôn am danynt, yr ydym yn barod i ofyn weithiau, A oes gobaith am hyny eto? Nac oes, medd anghrediniaeth. Oes, medd ffydd. Nac oes, medd y byd a *business* a phrysurdeb masnach. Oes, medd gair yr Arglwydd a'r addewidion. Megys y clywsom am gyfarfodydd eglwysig rhyfedd, ac y gwelodd rhai sydd yma, felly cawn ninnau weled eto, ond byw yn sanctaidd a llafurio i weddïo, a

"Threulio ein hamser ddydd a nos
Mewn myfyr am ei angeu loes."

Peidiwn ag ammheu hyn, fy mrodyr, rhag ofn i ni dynu arnom ein hunain anfoddlonrwydd Duw. Yr ydym oll yn cofio darllen am y newyn tost fu yn Samaria yn amser Eliseus. Yr oedd y newyn mor fawr o herwydd y gwarchae fel yr oedd pen asyn yn werth pedwar ugain sicl o arian. Ond wele Eliseus yn dywedyd, "Ynghylch y pryd hwn yfory y gwerthir mesur o beilliad er sicl, a dau fesur o haidd er sicl." Ond cymaint oedd anghrediniaeth rhyw dywysog fel y dywedodd, "Pe gwnai yr Arglwydd ffenestri yn y nefoedd, a fyddai y peth hyn?" Ac Eliseus a'i hatebodd, "Wele ti a'i gweli â'th lygaid, ond ni fwytei o hono." Mathrwyd ef yn y porth fel y bu farw. Gwyliwn ninnau pan y daw yr ymweliadau nefol i'n heglwysi yn ol addewidion y Bibl, rhag i ni weled pethau rhyfedd â'n llygaid, ond o herwydd ein hanghrediniaeth i ni gael ein hamddifadu o'r bendithion.

Ymdrechwn am brofiadau uchel fel swyddogion yn eglwys Crist; meddu hyder cryf ein bod wedi ein symud o farwolaeth i fywyd, a gallu dyweyd yn lled ddibetrus yr un fath a'r Salmydd, "Cyfododd fi hefyd o'r pydew erchyll, allan o'r pridd tomlyd, ac a osododd fy nhraed ar y graig, gan hwylio fy ngherddediad. A rhoddodd yn fy ngenau ganiad newydd o foliant i'n Duw ni." Addfeder ni oll, trwy yr ymgeledd sydd i'w gael yn y *society* yn yr eglwys filwriaethus ar y ddaear, i fyned i'r *society* fawr a pherffaith yn yr eglwys orfoleddus yn nef.

---

## YCHYDIG ADGOFION AM GYMDEITHAS CYMEDROLDEB A'R GYMDEITHAS DDIRWESTOL YN LLANUWCHLLYN.

Yr offerynau a fu yn cychwyn yr achos da uchod yn ein hardal oeddynt y diweddar Dr. Charles, y pryd hwnw o'r Bala, a'r Parchedig John Elias o Fôn, tua'r flwyddyn 1836. Y pryd hwnw yr oedd mynyddoedd anghymedroldeb yn anterth eu nerth a'u huchder, fel yr oedd yn anghredadwy gan neb y gallesid eu dymchwelyd. Ond daeth rhyw ysbryd at y rhai uchod ac eraill, fel "pryf Jacob yn dyrnu mynyddoedd, ac yn eu gwneyd fel mwlwg." Yr oedd y werin yn gyffredin yn cymeryd fod y gwlybyroedd meddwl yn dda i bob peth ac i bob achos; geni, bedyddio, priodi, marw,—da i ieuanc a hen, cryf a gwan, mewn oerni a gwres, &c.

Dechreuodd Mr. Charles, trwy gloddio o dan y diodydd poethion, ddangos nad oedd dim o'u heisieu ond mewn cymedroldeb mawr, oddigerth ychydig iawn mewn ychydig o achosion. Felly y dywedai Mr. Elias, gan ddwyn tystiolaethau meddygon enwog nad oedd dim anghen y gwlybyron poethion ond mewn ychydig o amgylchiadau; ac ymron bob amser pan y byddai y meddyg yn cyfarwyddo i'w cymeryd, fod afiechyd y claf hwnw yn anfeddyginiaethol.

Gwelwyd yn fuan fod yn rhaid ychwanegu y cwrw a'r *porter* at yr ardystiad, am fod y bobl yn parhâu i feddwi gyda y rhai hyny gystal â'r gwirod. Byddai cyfarfodydd cyhoeddus yn cael eu cynnal yn aml o ardal i ardal, ac yn myned yn fwyfwy lliosog, a'r cynnulliadau yn myned yn fwy poblogaidd y naill flwyddyn ar ol y llall, nes ennill cannoedd lawer yn wirfoddolwyr dros y gymdeithas.

Yr oedd yma areithwyr medrus a hyawdl iawn: y diweddar Barchedig Michael Jones, dywedai efe unwaith mai yn afon Thames yr oeddynt yn cael dwfr i wneyd *porter*, a hono yn afon fudraf yn y byd, a'u bod yn cymeryd *copperas* i wneyd y lliw du a'r *ffroth* sydd arno—y diweddar Barch. Robert Evans, Caergai, yntau oedd yn ffraeth a doniol iawn,—Simon Jones, Lôn,

tad y diweddar Simon Jones, Bala, yntau oedd yn un hynod. Egluro prophwydoliaethau Daniel, Ezeciel, a'r Dadguddiad y byddai efe, a sychu yr afon fawr Euphrates, a'r cyffelyb. Ond y mwyaf doniol o'r holl areithwyr cartrefol yma oedd Mr. John Morris, Pantsaer; yr oedd efe yn danbaid, synwyrol, a dengar dros ben; a pharhäodd i ddadleu dros yr achos yn ffyddlawn am flynyddoedd.

Parhäodd y Gymdeithas i lwyddo hyd 1842 a 1846, pryd nad oedd ond ychydig iawn o yfed yn y cymydogaethau hyn, a'r pryd yr oedd y tafarndai agos yn weigion, a hen feddwon gwaethaf y plwyf wedi ymuno gyda chrefydd. Gallaf enwi pedwar neu bump o hen feddwon, oll dros eu 80 oed yn marw, ag oeddynt megys pentewynion wedi eu hachub o'r tân,—yn marw âg arwyddion amlwg arnynt eu bod wedi eu gwaredu. Owen William y gôf oedd un. Mae ei hanes ef yn un rhyfedd iawn. Yr oedd yn grefftwr da, ond yn gwario y cwbl; llawer newyn a noethni a ddyoddefodd ei deulu; pan gaffai chwech neu swllt, gwariai ef yn ddioedi. Torodd ei goes unwaith tua Glanllŷn, a rhoddodd pedwar o lanciau direidus ef ar lidiard i'w gario i'r Llàn, a'r hen Siôn Cychwr o'r Abermaw mewn gwawd yn canu salm o'i flaen. Attafaelwyd ar ei bethau gan dafarnwr am ddyled, a gwerthwyd ei *bureau* i dalu y ddyled. Ymhen ychydig o flynyddoedd yr oedd y tafarnwr yn ffaelu, ac Owen trwy ddirwest wedi gwella ei amgylchiadau, ac yn prynu y *bureau* yn ol. Wedi i Owen Williams sobri, yr oedd yn gyfaill mawr gyda yr hynod Nicolas Humphreys; a byddent yn myned gyda eu gilydd yn aml ar hyd y tai i gadw cyfarfodydd gweddi. Ryw noswaith yr oedd Owen ar ei liniau yn trin y diafol yn enbyd, gan ei alw ar bob enwau drwg; ac wele Nicolas yn gweddïo ar ei ol, gan ddywedyd, "O Arglwydd daionus, gwared ni rhag lladd gormod ar y diafol, rhag y rhaid i ni fyned ato ef, ac y bydd ef yn edliw i ni eto, gan ddywedyd, 'Yr wyf yn cofio, *lads*, fel yr oeddych yn lladd arnaf ar y ddaear,' gan ein chwipio ni yn ofnadwy."

Anghofiais ddywedyd mai Owen Williams, hen bregethwr, Towyn, fu yr offeryn i argyhoeddi yr Owen William hwn, trwy ddywedyd, "Wel, Owen bach, os na ddiwygi di yn fuan, ti a fyddi mewn byd na chei ddafn o ddwfr oer i oeri dy dafod byth."

Hugh Davies, y Prŷs, ydyw yr ail a enwaf. Hen lifiwr yn Glanllŷn oedd efe; a dywedid fod Catherine ei wraig wedi cael ei hesgymuno o Eglwys Loegr, fel nad allai fyned i'r eglwys na'r fynwent, ac os elai y gallai rhywun wneyd niwed iddi, ac na byddai amddiffyn cyfraith y wlad ddim drosti. Ai gwir hyny nis gwn. Yr hen apostol Paul y byddent yn galw Huw Dafydd, am ei fod yn zelog yn dal yr hen athrawiaeth Galfinaidd, yn erbyn y *system* newydd, fel ei gelwid. Byddai efe a lliaws eraill yn y dafarn bob nos, a'u gwaith yno a fyddai dadleu ar byneiau crefydd.

Rowland Jones, teiliwr, Penrhiwdwrch, yw y trydydd; gŵr golygus, tew. Cyfrifid ef yn enwog fel duwinydd a bardd, a dywedid y byddai yn gwneuthur llawer o bregethau i'r hen Mr. Jones, Person Llangywer. Ei fai ef oedd arfer yfed gormod, gan droi weithiau i hen ysgubor Caergai i gysgu wrth droi adref o'r Bala. Fel hyn y rhigymai Robert Tŷ'r fron iddo.

> Y teiliwr sydd yfwr o ddefod,—nychodd
> Yn achos y ddiod;
> Peth anhardd yw i fardd fod
> Yn llwgu gyda llygod.

Dro arall caed ef wedi syrthio ar riniog y tŷ, a chanwyd iddo,—

> Euog ar y rhiniog yn rhòl,—gysgodd
> Mewn gwasgfa ryfeddol:
> Cwrw sâl wedi troi ei sïôl
> A'i faeddu yn anfuddiol.

Y pedwerydd oedd Harry Jones, Rhŷdsarn. Ffermwr oedd ef: gŵr call cymwynasgar pan y byddai yn sobr, ond wedi meddwi rhegwr a thyngwr heb ei fath; yr oedd ei araeth yn ddychrynllyd ofnadwy. Cyn hir wedi uno â Dirwest ymunodd â chrefydd, ac yr oedd yn weddïwr effeithiol digymhar hyd ddiwedd ei oes. Wrth ei fod wedi hir ymarfer rhegu, &c., peth anhawdd iawn oedd cadw ffrwyn yn ei wefusau. Un diwrnod aeth i'r mynydd at y defaid, ac yr oedd y cŵn yn naccàu ufuddhâu iddo; a gwylltiodd yn enbyd fel y bu raid iddo ddyfod â'r hen iaith allan. Yr oedd Mr. John Evans, ei bregethwr, yn ei glywed oddidraw, ac yn teimlo yn drist iawn am fod Harry wedi myned at yr hen iaith. Ond cyn hir canfu ef mewn pantle yn y mynydd, yn erfyn yn daer ar ei Dad nefol i faddeu iddo.

Yr olaf a nodaf o'r pump meddwon a argyhoeddwyd yw Robert Rowland, yr hen dafarnwr. Gŵr caredig a diniwed oedd efe, ac yn hollol anllythyrenog; ond ennillodd gryn gyfoeth drwy ei fasnach; ac yr oedd wedi myned yn dew iawn; ond sychodd y fasnach, fel yr aeth y byd i gilio oddiwrtho, ac y gwerthwyd ef i fyny; a'r pryd hwn y cafodd Owen y gôf ei hen *bureau* yn ol. Symudodd yntau i'r elusendŷ, a bu fyw am flynyddoedd gan weithio ei oreu. Aeth o ran ei gorff yn sypyn bychan gwael, a'i ddeupen agos yn y ddaear; er hyny byddai yn gweithio bob dydd, ac yn gweddïo, ac yn diolch

llawer am Ddirwest i'w *stopio* ar y ffordd i'r trueni tragywyddol. Peth oedd yn rhyfedd ydoedd fod cymaint a phump yn yr un plwyf, pob un o honynt dros bedwar ugain oed, wedi eu diwygio trwy Ddirwest, ac yn ganlynol wedi ymuno â chrefydd: dau gyda yr Annibynwyr, a thri gyda'r Methodistiaid, ac arwyddion amlwg iawn fod y pump wedi eu hachub gan ras y nefoedd.

Tua yr un adeg daeth yma hen ŵr pedwar ugain i'r *seiat*. William y bugail y gelwid ef, hen ŵr call, llawn arabedd, ond hollol anllythyrenog. Yr oedd y Parch. Robert Williams yn ei holi fel y canlyn: "Wel, William, peth mawr yw dyfod trwy y drws i'r gorlan; a ydych yn meddwl eich bod yn dyfod trwy y drws, William?" Ebe rhyw lanc oedd yn dechreu gwallgofi, yr hwn yntau oedd yn ffraeth iawn, "Peidiwch a gofyn y cwestiwn yna iddo, Mr. Williams: a ydych yn meddwl y deuai hen ŵr fel hyn dros y wàl yn lle drwy'r drws?" Mewn hen dŷ gwael a thlawd yr oedd yr hen William yn llettŷa, gydag un Elin y *butcher*. Meddai Mr. Williams wed'yn, "A ydych yn myned dipyn allan o honoch eich hun, William, yn yr hen dŷ acw?" ac atebai yntau, "Mae yn rhaid i mi fyned oddiacw i rywle, neu bydd yn o wan arnaf." "Pa faint yw eich oed?" "Yr wyf yn wyth a phedwar ugain." "Wel, wel," meddai Mr. Williams, yn drist iawn, "hi a aeth yn unfed awr ar ddeg, onid do, William!" "Beth?" ebe yr hen ŵr, "oni chafodd hwnw geiniog? ac oni chafodd o hi yn gyntaf hefyd?" O herwydd yr ateb pert, aeth Mr. Williams ac eraill i chwerthin er eu gwaethaf. Yna gofynid, "A wnaeth Iesu Grist rywbeth yn y byd yma?" ac atebai William, "Bu farw dros bawb sydd yma, mi wn." Yr oedd yn meddwl, mae'n debyg, ddangos ei hun yn iach yn y ffydd.

Ond i ddychwelyd at yr adgofion Dirwestol. O flaen pob gŵyl yn y Bala, byddai y dywededig John Morris, a Simon Jones y Lôn, ac amryw o ieuenctyd Llanuwchllyn yn myned i'w canlyn, i'r gwahanol gapelau yn y cymydogaethau, i gynhyrfu y bobl yn yr amrywiol ardaloedd, i ddyfod i'r wyl. Côf genyf ein bod yn myned unwaith ar ddiwrnod oer iawn yn y gauaf, i Gapel-Celyn erbyn deg y bore, ac yn cerdded yn orymdaith fawr dros y Mynydd Nodol i'r Llidiardau erbyn dau, ac oddiyno yn orymdaith fwy fyth i Dalybont at chwech; ac yr oedd y tri chapel yn llawnion iawn. Yr wyf yn cofio mai y peth cyntaf a ddywedodd Simon Jones yn y Llidiardau oedd, "Myfi yw Alpha ac Omega; y cyntaf a'r diweddaf;" ac yr oedd efe yn rhy ddwfn neu rywbeth fel nad oeddwn i yn deall ei fater na'i amcan.

Yr oeddem yn myned i Lwyneinion ar ddydd Nadolig tua'r pryd hwn i gadw cyfarfod; yr oedd Dr. Edwards o'r Bala yn y cyfarfod hwn, a dau neu dri o lanciau ieuainc o Langynog. Yr oedd un o'r rhai hyny fel pe meddylid am ebol gwyllt o ganol y mynydd heb ei ddîn. Yr oedd ei wallt yn ddu fel y frân, ac yn dyfod i lawr ei gefn hyd at ei wasg agos. Y tro cyntaf ydoedd i mi ei weled erioed. A phwy oedd hwnw ond y Parchedig Joseph Thomas, Carno yn awr! Areithiodd gyda nerth a grymusder mawr; a gwelodd Dr. Edwards fod defnydd pregethwr mawr a defnyddiol ynddo, ac annogodd ef i ddyfod i'r Bala i'r ysgol—y caffai ei ysgol yn rhad. Ac felly efe a ddaeth i'r Bala yn bur fuan. Dywedwyd i mi nad oedd efe yn aelod eglwysig ar y pryd; ond mae yn ammheus a oedd hyn yn gywir. Yr oeddem ni wedi bod yn cadw gŵyl yn y Bala unwaith neu ddwy o'r blaen, heb genym yr un faner fawr fel yr oedd gan gyfeillion y Bala a Llandderfel, a manau eraill. Ond y tro hwn yr oeddym ninnau wedi parotôi baner fawr, â llun buwch ddu Gymreig arni, ac iddi bwrs gwŷn glân, a llances landeg o Gymraes yn ei godro, i arwyddo mai llaeth a dwfr oedd y ddiod oreu. Ac yr oedd y ddau hynafgwŷr diwygiedig yn cario y faner, sef yr hen lifiwr, Hugh Dafydd, y Prŷs, a Rowland Jones, Penrhiwdwrch.

Yr oedd y Parchedigion David Rowland a Robert Thomas, gyda chyfeillion Waen y Bala, a channoedd eraill o'r Bala a'i hamgylchoedd, wedi ein cyfarfod wrth y *turnpike* uchaf, ac ofn mawr wedi dal yr holl dafarnwyr; a gwelid David Rowland, ac eraill yn codi eu dwylaw i fyny fel rhai na welsant erioed y fath olygfa, ac oll yn canu y pennill hwn wrth gymeryd y ddinas:

"Par'towch y ffordd! mae Duw yn d'od
I'w enw glân rhowch uniawn glod.
Mae sŵn cerbydau aur y nef,
Yn rhwygo bryniau daear gref:
De'wch ymlaen yn gedyn gewri,
Duciaid Edom sy'n dychrynu,*
Duwiau 'r byd sy'n ymgynhyrfu,
Baal sy'n cwympo! Baal sy'n cwympo!
Haleluiah. Amen."

Cyfarfod gogoneddus oedd hwn. Mae yn debyg na bu y Bala a'r cymydogaethau erioed, na chynt na chwedi, wedi eu hennill mor llwyr. Yr oedd yr holl fasnach feddwol agos wedi ei sychu i fyny ar y pryd. Buom ar ol hyn rai troion yn cychwyn o'r Bala ar ddydd ffair yn llu mawr, gyda ein gilydd yn orfoleddus, gan gychwyn wrth y *gate* isa'; ac yr wyf yn meddwl

* *Brandy, Rum, Gin* a *Whiskey*, a feddyliem ni wrth dduciaid Edom.

mai y ganig ganlynol yr oeddym yn ei chanu drwy y dref :—

Dirwest ! dy enw sy'n hyfryd yn seinio ;
Dirwest ! wyt un o dduwiesau y nef ;
Dirwest ! mae'r anial o'th ol yn blodeuo,
A niwl cyfeiliornad canrifoedd yn cilio,
A heddwch yn llon ar y gron ddaear gref ;
Y man lle'r ymrwyfai y dreigiau gwenwynig,
Yno y tyf corsenau a brwyn :
Yn nghanol dyffryndir yr anial sychedig
Y tardda ffynnonau o ddwfr bendigedig ;
Lle pigai y drain bydd ffynidwydd yn llwyn :
Yr oenig a chwery â phalfau y dreigiau :
Y fuwch gyda 'r arth a borant ynghyd ;
Y plentyn ymafla yn nghol y dreigiau,
Gan chware â'u colyn a chyfrif eu cylchau :
Can's mynydd sancteiddrwydd i Dduw fydd y byd.

Rhaid addef fod rhai diffygion yn perthyn i rai dirwestwyr zelog yr amser hwnw, sef, yn un peth, gwasgu yn ormodol ar rai hen bobl dda i lwyrymwrthod, a hwythau wedi hen arfer yfed peth gyda eu masnachau, fel y meddylient fod yn rhaid yfed rhywbeth mewn tafarn ; ac yfed y *pop*, fel y galwent ef, ac wrth yfed gormod o hwnw, lladdwyd rhai. Dichon mai'r peth a wnaeth niwed mawr i Ddirwest yn y dyddiau gynt oedd y *watchers*. Yr oedd y giwed yma wrth eu bodd yn dwyn tystiolaethau yn erbyn brodyr, ac yna caent eu diarddel yn gyhoeddus o'r gymdeithas ; a cheid allan yn aml mai gaudystiolaethau fyddai y cwbl, a dychwelai llawer o'r cyfeillion hyny yn ol "fel y ci at ei chwydfa, a'r hwch wedi ei golchi i'w hymdreiglfa yn y dom." Clywais lawer o areithwyr poethion yn dywedyd lawer gwaith fod y gŵr cymedrol yn waeth na'r meddwyn, gan haeru y dylai Dirwest fod yn ammod eglwysig, ac yn gadael anonestrwydd, cybydd-dod, a'r holl feïau duon eraill, o'r neilldu. Cyplyser yr oll neu ddim. Gadawer i grefydd a Dirwest weithio eu ffordd eu hunain Mae yn dda genym weled yn y dyddiau hyn fod y fasnach feddwol âg arwyddion darfodedigaeth arni, a bod cyfraith cau y tafarnau ar y Sabboth yn Nghymru yn gweithio yn dda. ac yn sicr o fod o fendith annhraethol i'n hen wlad anwyl.

Anfoner eto fwy o wŷr doniol, galluog a doeth, fel y Parch. A. Parry, Abertawy, a Phlenydd o Leyn, drwy y wlad i ymladd â'r hen deyrn meddwdod nes ei lwyr orchfygu. Dyna ddymuniad a gweddi miloedd, ac yn eu mysg

EDWARD EDWARDS.

*Llanuwchllyn.*

# Darlleniadau Detholedig.

### GWYRTHIAU.

Y MAE'R profion allanol neu amgylchiadol o ddwyfoldeb y Bibl yn ddwy gangen: y gwyrthiau a gyflawnid gan Moses a'r prophwydi, Crist a'i apostolion, fel seliau o wirionedd a dwyfoldeb y ddysgeidiaeth a gyhoeddent yn enw Duw i ddynion, a chyflawniad y prophwydoliaethau neu y rhagfynegiadau am bethau i ddyfod a draddodent. Appelia y profion hyn at synwyrau corfforol dynion, fel y gwna y profion mewnol neu ysbrydol at eu galluoedd meddyliol. Am y gwyrthiau, darfyddodd tymmor eu tystiolaeth gyda pherffeithiad *gair* y dystiolaeth, neu gyflawn roddiad ewyllys ddadguddiedig Duw i'r byd. Yr oeddynt yn hollol anghenrheidiol i gadarnhâu y gair pan yr oedd yn cael ei gyhoeddi gyntaf i'r byd; ac yr oedd yr un mor anghenrheidiol eu terfynu hefyd pan gwblhëid y dystiolaeth. Buasent yr un mor werthfawr i bob oes, mae yn wir, fel gweithredoedd o gymwynasgarwch, megys adferiad golwg i ddeillion, ac iechyd i gleifion; ond buasent yn colli eu grym fel profion o ddwyfoldeb Cristionogaeth o herwydd eu cyffredinolrwydd; ac felly buasai y golled foesol o'u parhâd yn fwy na'r ennill tymmorol o hyny; ac aberthu y dyben mawr i'r un llai a fuasai hyn, gan mai eu prif ddyben oedd i fod yn dystion ger bron synwyrau dynion o ddwyfoldeb dysgeidiaeth dynion sanctaidd Duw.

Yr un modd yn gymhwys yn union yr ymddyga dynion gyda'u gorchwylion hwythau. Tra byddo adeiladaeth yn cael ei chodi, gwelir llawer o glwydi o'i hamgylch, y rhai ydynt yn wasanaethgar i'r adeilwaith; ond wedi gorphen y gwaith o adeiladu, tynir y clwydi ymaith. Darfu tymmor eu gwasanaeth, ac ni byddent o ddefnydd yno mwyach, ond yn hytrach yn anurddiant ac ar y ffordd. Yr oedd cylchwaith cywrain a threulfawr i'w weled o amgylch adeilwaith Pont Britannia ar y Menai ar y dechre; ond wedi hyny cafodd yr oll ei dynu oddiwrth ei gilydd a'i symud. Bydd y bont yno yn gofadail i ôloesau lawer o ddyfais ac ysbryd anturiaethus yr oes hon; ond ni welant hwy ddim o'r cylchwaith a osodid i fyny i ddwyn yr adeiladaeth ymlaen. Felly y gwyrthiau: cylchwaith neu glwydi oeddynt i wasanaethu dros dymmor adeiladaeth teml y Dadguddiad Dwyfol. Y mae'r deml yn aros byth yn berffaith a chyfan, ac erys hyd derfyn yr oesau; ond dodwyd y cylchwaith o'r neilldu pan berffeithiwyd yr adeilad. Oferedd fyddai i'r eglwys gristionogol ddysgwyl am adferiad doniau gwyrthiol mwyach, ar ol darfod tymmor priodol eu gwasanaeth. Yr oeddynt hwy i "beidio," i "ballu," a "diflanu;" a nôd anffaeledig o hereticiaid a gaubrophwydi ydyw yr honedigaeth o feddu ar y doniau hyny mwyach.—*William Rees, D.D.*

### Y CYFARFODYDD GWEDDIAU.

**Mewn** adeg o lwyddiant ar grefydd, y mae'r cyfarfodydd gweddïau yn dra lliosog; ond mewn amser o farweidd-dra, y maent yn cael eu hesgeuluso yn fawr. Y mae hyny yn profi fod ymddygiadau dynion at y cyfryw gyfarfodydd yn rhoddi eglurhâd ar sefyllfa crefydd yn y wlad. Y cwestiwn sydd i'w ateb ydyw, Pa beth neu bethau sydd yn achosi yr annhueddrwydd mewn lliaws o grefyddwyr i ddyfod i'r cyfarfodydd gweddïau, a chymeryd rhan gyhoeddus ynddynt? Gellir dyweyd am gyfarfodydd cerddorol, eisteddfodol, a chystadleuol, eu bod yn cael lle mawr y dyddiau hyn gan agos bob gradd; ac y mae yn ddiau fod yr ymdrechion a wneir i ddyrchafu a phuro cerddoriaeth grefyddol a moesol yn teilyngu pob cefnogaeth. Ond y mae lle i ofni fod yr ysfa sydd mewn lliaws at bob math o ganiadaeth yn tueddu yn fawr i lygru eu chwaeth at bethau annhraethol fwy pwysig. Mae yn ffaith, rhy amlwg i'w gwadu, nad oes y dyddiau hyn un cyfarfod yn cael ei esgeuluso gymaint â'r cyfarfod gweddi. Ond yr wyf yn hollol gredu nas gellir dysgwyl adfywiad ar grefydd ond mewn atebiad i weddi.

Mae yn ddiammeu mai y prif achos o annhueddrwydd lliaws i ddyfod i'r cyfarfodydd gweddïau yw diffyg teimlad crefyddol, neu annheimladrwydd o'u hanghenion ysbrydol—fod cymaint o dan ddylanwad y byd, fel nad yw pethau ysbrydol a thragywyddol yn cael ond ychydig le yn eu meddyliau. Pe teimlid newyn a syched am y bendithion sydd yn cyfoethogi enaid, ac yn addfedu ysbryd i fwynhâu dedwyddwch tragywyddol, mae yn ddiau y byddai mwy o fynychu i'r manau lle y mae yr Arglwydd yn addaw eu cyfranu.

Ac y mae lle i ofni fod y cyfryw ag sydd yn esgeuluso cydymgynnull â'r frawdoliaeth yn eu cyfarfodydd gweddïau yn dra anghyson yn y cyflawniad o ddyledswyddau crefyddol gartref, yr hyn sydd yn peri i'r teulu edrych yn ddifater ar y cyfryw ymarferiadau crefyddol ymhob man. Dylai careg yr aelwyd fod yn gysegredig yn nheimladau y plant, a'u coffadwriaeth o grefyddolder eu rhieni yn foddion i ail ennyn dawn Duw ynddynt. Yr oeddwn yn adwaen gŵr cyfrifol a duwiol yn sir Aberteifi, yr hwn a anwyd mewn bwthyn cyffredin, ond, drwy ei ymdrechion a'i ddiwydrwydd, a gyrhaeddodd sefyllfa uchel yn y byd. Pan ddygwyddodd iddo fyned heibio i adfeilion yr annedd lle y ganwyd ac y magwyd ef, disgynodd oddiar ei anifail, ac aeth i ganol y pentwr ceryg i chwilio am hen gareg yr aelwyd, lle y bu ei dad a'i fam yn tywallt eu calonau mewn gweddi gynifer o weithiau, ac yn ei gyflwyno yntau i'r Arglwydd. Cynhyrfodd yr adgof o hyny ysbryd addoli ynddo yntau; a syrthiodd ar ei liniau yn nghanol yr adfeilion, i ddiolch i'r Arglwydd am yr addysg a'r esiamplau a gafodd gan ei rieni duwiol.

Y mae yn ffaith nas gellir ei gwadu, fod amryw o'n pobl ieuainc athrylithgar, pa rai sydd wedi cyrhaedd enwogrwydd fel llenorion a beirdd, yn gwrthod arfer eu doniau yn gyhoeddus mewn cyfarfodydd gweddïau. Rhoddant eu gwasanaeth yn ewyllysgar i areithio ar wahanol bynciau, ac i fod yn arweinwyr canu; ond pan ofynir iddynt fyned i weddi, y maent ar unwaith yn teimlo eu bod yn cael eu galw at waith nad oes ganddynt galon i ymaflyd ynddo. Mae hyny yn tarddu, fe allai, oddiar argyhoeddiad na ddylent ymaflyd mewn gwasanaeth mor bwysig heb fod ganddynt duedd ato. Mae yn ammheus am grefydd y cyfryw nad oes ganddynt galon i arfer eu doniau mewn gweddïo; oblegid nis gellir dadleu mai diffyg ymddiried yn eu galluoedd i fod yn gyhoeddus yw yr achos, gan eu bod yn gwneyd hyny mewn cyfarfodydd poblogaidd iawn. Amlwg yw fod dynion di-ailanedig yn alluog i areithio ar bwys eu dysgeidiaeth; ond nid oes ganddynt duedd at weddio, am fod y galon yn amddifad o fywyd ysbrydol. Y mae ochenaid gweddi o'r galon yn annhraethol fwy pwysig yn ngolwg yr Arglwydd na'r areithiau mwyaf hyawdl. Pan y mae'r galon yn y gwasanaeth, mae'r dyn i gyd ynddo; ond lle nad yw, nid oes ond y rhan waelaf o'r dyn yn ei gyflawniadau.—*Y diweddar Robert Roberts, Llangeitho, yn y fl.* 1873.

---

### CRIST I'W BREGETHU YN WRESOG.

**Dylid** cofio fod gan ddyn deimlad fel deall, calon yn gystal â phen. Mae llawer na roddant i'w gwrandäwyr ddim ond pethau mawrion a thrymion, sychion ac athronyddol, yn gofyn deall cawr i'w treulio. Ni cheir byth damaid blasus a moethus ganddynt,—meddyliau mawr yn anmrwd neu newynu. Synant eu gwrandäwyr â fflachiadau eu hathrylith; ond y mae'r cyfryw mor oer a rhewllyd â fflachiadau y goleuni gogleddol. Ac yn lle gosod yr enaid blinderog i orwedd ar lanerchi gwelltog, esmwyth, gwirionedd yr efengyl, taflant ef ar greigiau llymion a danneddog cyndyn-ddadleuon y llygredig eu meddwl.

Traether am wahanol haenau y ddaear mor oer a sychlyd ag y dewiser; mynegwch hanes tylwythau y ddaear mor ddilewyrch a diflas ag y mynwch; ond peidiwch a son am y cariad tragywyddol yn oer a didaro—am y "pethau ynghylch Iesu o Nazareth" heb fod eich calon yn llosgi. Mae helyntion Calfaria, "dyoddefaint Crist, a'r gogoniant ar ol hyny," yn angerddoli seraphiaid. Mae yr "ysbrydion gwasanaethgar" yn edrych oddiar greigiau marwol tragywyddoldeb gyda'r dyddordeb mwyaf ar bob pechadur a ddaw i'r lân ar blanciau rhad ras, a theifl ei achubiaeth dònau uwch o lawenydd drwy eu hysbrydoedd haelfrydig. "Mae y gwirioneddau breninol, ardderchog, a Dwyfol yna i farchogaeth trwy'r byd," ebe Spurgeon, "ar feirch a cherbydau tanllyd." Dyma hanfod yr efengyl, dyma ei brasder a'i mêr, dyma ei bywyd a'i chalon, dyma ei thân sanctaidd, a dyma ei phoethoffrwm. Dyma oedd cysur a hyder yr hen Christmas wrth farw, wedi llafurio yn y cysegr am 53 mlynedd: nad oedd wedi llafurio yno "heb waed yn y cawg; ac nid yw ei waed Ef byth yn fferu." Crist croeshoeliedig yw anghen mawr pech-

adur: nid ffurfiau a seremoniau, ac nid proffes o grefydd, a chredo iach, yn unig, ond "Crist gallu Duw a doethineb Duw." "O na byddem i gyd," ebe Rowland Hill, "yn galon ac enaid ac ysbryd i draethu gogoniant efengyl Crist i'r tyrfäoedd colledig." Yr ysbryd a'r brwdfrydedd yna a wna bob pregeth fel taranfollt o'r orseddfainc, ac a ddyga "waed y taenelliad" rhwng yr euog a cholledigaeth.—*Y Parch. E. Stephen, Tanymarian.*

---

YMADRODDION Y DOETHION.

Boddloned ein meddyliau i Dduw lywodraethu, ac ni theimlem yn anhapus mewn amgylchiadau trallodus.

Mae ein meddyliau yn lleisiau yn nghlyw yr Hollwybodol.

Mae addysg yn dechre ar lin y fam; ac y mae pob gair a leferir yn nghlywedigaeth y plentyn yn gweithio tuag at ffurfio ei gymeriad.

Ni chaiff yr un gronyn o ras y bywyd syrthio i uffern.

Dystawrwydd, pryd na byddo angenrhaid am siarad, a ymddengys yn hyawdledd synwyr.

Hanesyddiaeth yw athroniaeth yn addysgu oddiar brofiad.

Na ddigalonwch; ni phery y diwrnod tywyllaf ond hyd yfory.

Po fwyaf ein hefrydiaeth, mwyaf y gwelwn ein hanwybodaeth.

Gellir ofni am y rhai sydd yn credu yn hawdd bob amser na chredasant erioed. Mae perchen gwir ffydd yn gwybod beth yw ymdrech caled a mynych rhwng crediniaeth ac anghrediniaeth.

Yr uchaf mewn crefydd yw yr isaf yn ei olwg ei hun.

Y ddwy ffordd oreu tuag at dalu dyled ydyw, ymarfer mwy o ddiwydrwydd i gael arian i mewn, a mwy o gynnildeb wrth roi arian allan.

Gall portreiad gwych fod mewn ffrâm salw, ac felly duwioldeb mewn cristion tlawd.

Mae amser cystudd fel y tymmor gauaf yn gwasanaethu i ladd y chwyn a'r pryfetach a feithrinir yn hâf hawddfyd.

Pe byddai dyn mor hyawdl âg angel, y mae rhai meibion a merched a ddewisent iddo wrando arnynt hwy yn hytrach nag agor ei enau.

Dylai'r gydwybod gael ei rheoli gan y Bibl, fel yr awrlais gan amser yr haul.

"Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw:" yn gyntaf o ran amser, i fod *o flaen* pob peth, ac yn gyntaf o ran serch, i fod *uwchlaw* pob peth.

Nid oes dim yn fwy gwyda na gwirionedd.

Llaw ddê yr enaid yw ffydd, a'r llaw aswy yw rheswm.

Deall i ddyfeisio, calon i ewyllysio, a llaw i weithio, a'r oll mewn daioni, a wna ddyn yn wir wasanaethgar.

Dyn yn uchder llwyddiant a gaiff bawb i broffesu eu hunain yn gyfeillion iddo; eithr cyfarfydded â drygfyd i'w ddarostwng, ac mor ychydig a ymddygant fel ei wir gyfeillion!

Mae doniau naturiol, fel planigion naturiol, yn galw am eu trin a'u tocio trwy efrydiaeth.

Tuag at lenwi addoldy yn dda, rhaid llenwi'r pulpud yn dda.

---

# Barddoniaeth.

## AWDL FARWNAD MR. RICHARD MORRIS, LLANARMON, DYFFRYN CEIRIOG.

*Gan y Parch.* David Edwards, *Glanrafon.*

Ai marw yw Richard Morris—yr uniawn
Wr anwyl a medrus
I roi 'n llon ger bron heb rus,
A fyddai i ni 'n foddus?

O ïe! ei le fu lawn—ni wela
Un eilwedd o'r cyfiawn:
I ddaear le a ne' hyd nawn,
Ei ranu gâdd yr uniawn.

Er isod "yn yr Iesu"—yr hunodd
Y rhan sydd yn pydru;
A chofir ei dyrchafu,
I chwyddo cân ei lân lu.

Na wyler, ef a welwch—yn unol
A'i enaid mewn heddwch,
Yn nef y ne', hoff le ffiwch,
Yn wyrthiol ei brydferthwch.

Yno y mae ei enaid,—yr awrhon,
A'i eryraidd lygaid
Yn gweled Duw, byw, dibaid
Ogoniant y nef ganaid.

Fry mae 'n byw—nid yw ein dawn—yn medru
Ymadrodd nefolddawn:
Ato i rodio yr awn—i'w hen fro,
Yr ydym yno yn cofio 'r cyfiawn.

Diwyd mewn bywyd bu—ni arbedodd
Ddarbodaeth i'w deulu;
O radd i radd cadd, wr cu,
Gynnydd, a Duw yn gwenu.

Cymhorth yn ei borth y bu—i roddi
Teg ryddid yn Nghymru,
I weled a thrafaelu—ffordd hyfryd,
A dirwych hefyd i'n dyrchafu.

Mawr ydoedd, nid oedd dyn—yn ogyfuwch
Ag ef yn y dyffryn,
Mewn pethau yn glau ynglŷn
Y dylai pawb eu dilyn.

Yn llywydd yn rhwydd yr aeth —wr buddus,
Er budd i'w genedlaeth:
Crefydd yn ei ddydd a ddaeth—i fawr fri
A mwy diwegi 'n ei gym'dogaeth.

Chwiliwr pybyr yr Ysgrythyr,
A chofiadur gwychaf ydoedd;
Cryf areithiwr, a phler gwawr,
Od erfyniwr i dyrfaoedd.

Doeth gynlluniwr, a chryf weithiwr,
A chyfranwr, uchaf rinwedd;
Hoff lettŷwr y pregethwr,
Iĕ, gwyliwr ei ymgeledd.

Priod serchus, tad gofalus,
A hyfforddus i'w hoff beirddion;
Tywyll ranau Llyfr y llyfrau
Wnai yn olau i'w anwylion.

Athraw medrus, bywiog, craffus,
A dyddanus, ŏd o ddoniol;
Pur ddirwestwr o boeth wlybwr,
Hylaw ddenwr i'r hil ddynol.

Blaenor duwiol, ëangsyniol,
A iacheiddiol ei fucheddiad;
Cydwybodol, penderfynol,
Llon a gwrol, llawn o gariad.

Deuwch, dd'wedai pan flaenorai,
A byw rodiai i baradwys;
Bu, ŵr hynod, am faith ystod
Yn wir hyglod yn yr eglwys.

Bore ddilynodd ei bur ddylanwad
I wiw gymharu â'i wir gymeriad;
Ac yn awyddus äi ar gynnyddiad,
Yn rhwymyn ffynol rhagorol gariad—
Mwyn neis le mynwes ei wlad—a gafodd,
Ac o fodd daliodd ef yn ddidoliad.

Bu yn ffyddlon i Lanarmon,
Am y doethion yr ymdeithiai;
O genadon Brenin Sïon,
Un yn gyson yno geisiai.

Dros y mynydd, ar bob tywydd,
Ai mewn awydd am newyddion
Melus ffrwythydd cyfarfodydd
A ro'i gynnydd i rai gweinion.

Er ystormydd, chwyddawg nentydd,
A hir weunydd a'u hoer wenwyn,
I gyrhaeddyd gair y bywyd,
O gu iechyd, mynai gychwyn.

Esgynai ar wisg wenwawr
Y moelydd a'r mynydd mawr.
Ymlaen äi ef—llef uwch llawr—wrandawai,
Ac ymwrolai i gamu oerlawr.

Yn wrol, trwy yr eira—lluwchiol,
I'r llechwedd y treiddia;
Yni a rydd—ymlaen yr ä—pob rhwystrydd,
O boen a orfydd i ben ei yrfa.

O deithio at y doethion—y tawel
Bar'toai ei galon;
Yn rhwydd o hyd rhoddai hon
Yn breswyl i had breision.

Gwneid yn llawn â grawn y groes—ei galon,
Diogelwch harddfoes,
A phleser dan lawer loes
I'w enaid trwy ei einioes.

O gaffael diwael daliad—am fyned
I 'mofyn cyhoeddiad
Cenadon hedd, o wledd i'w wlad—ä'i 'n llawn,
A hynod ioddlawn mewn adfeddyliad.

Ai o'i deithiau o dan fendithiad,
Yn fywferwol mewn adfyfyriad,
I orwych ethol at archwaethiad
Bethau o'i enau, o dan eneiniad,
Wir elai yn arlwyad—gwledd fywiol,
Barai ddymunol fuddiol foddiad.

Hedd i lu, a chu iachâd,
A dreiddiai o'i adroddiad.
Ysbryd i fyw i'r Llyw llad
A wrolai ar eiliad.

Yn y tŷ ef oedd y tad;
Yn orchwim gwneid ei archiad.
Ei Grëwr wnai'r gŵr yn gu,
O berchen hawl i'w barchu.

Hynodrwydd odiaeth ei adroddiadau
O'r iach a bythol orucha' bethau,
A mwy ystyriaeth o'i gymhwysderau,
Droion prawfedig, i drin profiadau
A'i rhoddodd ar uwch raddau—na'r doethaf,
A'r cu a phenaf dd'ai i'r cyffiniau.

Llifai, deuai yn dawel
O'i lithiau mwyn laeth a mel.

Ah! ei weddaidd ddoniol ymddyddanion
Am urddas Iesu, a'i 'mroddus weision,
A fu yn Nghymru yn denu dynion
Idd ei bur eglwys o ddu beryglon,
Sydd eto 'n cario coron—o'u coffa,
A'n gwir iacheiddia i'n gorwych weddion.

Moesid mewn Cyfarfod Misol—lle iddo,
A llwyddai 'n rhagorol
I gadw gau nwyddau 'n ol,
A myned at ddymunol.

Pan godai mewn cyfarfodydd—troai,
A gwyliai pob gwelydd
Am hynod ffraeth araeth rydd,
A phurddoeth ein hyfforddydd.

Ei frodyr gaent hyfrydwch
O gryf flas pan 'gorai flwch;
'E gerddai gydag urddas,
Arogledd o ryfedd ras.

O'i alw i ymweliad—i lesiant
Eglwysi ei enwad,
I fudd ydoedd ei ddyfodiad;
Ei dân gorwych dynai gariad
Iĕ, lawer i oleuad.
I fyw roddi y wefreiddiad
D'wedai noeth air doeth ei Dad—gyda hwyl
O anwyl eneiniad.

Ond i'n tŷ nid yw ein tad—un difyr,
Yn dyfod at alwad
Neb heddyw—yn wyw ddiwâd--ond o'i fodd,
Yr ymgiliodd i'w hir ymgeliad.

O wiredd! nid yw yn aros,
Du wedd i ni, deuodd ei nos.
O fawr loes! Ie, gloes glau
R'odd cledd ac ingwedd angau,

I'w deulu—hynod eilwedd
Ydynt heddyw o'i wyw wedd.
Ias berydd i brydydd brau
Yw yngan am ei angau.
Oera a briwa 'm bron,
Ac felly ei gyfeillion.
O wermod i Lanarmon
Yra un sydd am ei farw 'n son ?
A'i farw ef i Feirion
Rydd lawer o brudd-der bron.

O wylwyr, gwelwch eilwaith
Hynodwedd diwedd ei daith.

Yn Rhosydd Moab adnabu—genad
Wna i gannoedd Iasu !
Cwrddodd ef âg ef yn gu,
O wirfodd, heb gynhyrfu !

Arfod gadd ar ei yrfa—yn y glŷn,
I esgyn ar Bisga ;
Câdd olwg glir ar dir da—dymunol
Le i wyleiddiol Iu Ail Adda.

Wrth wel'd y werthfawr enfawr Wynfa,
Am y weddus yr ymawydda ;
Dwys a gwylaidd dysgwylia—bob enyd
Ei wir hoffusfyd yn orphwysfa.

Yno, â'i iechyd yn gwanychu,
'I Briod yrodd i'w ddibryderu

Fonedd genad i fwynaidd ganu
Arwawd dyddwawr i'w anrhydeddu ;
A chaniad y cenad cu—äi 'n ddibaid
Drwy dŷ ei enaid i'w dyddanu.

Goleu dibaid i'w enaid dywynodd,
Hyfryd ganiadau yn glau a glywodd,
Cerbyd mawreddog a suog nesaodd,
Ar ei was anwyl yr Iesu a wenodd,
A llaw angau a'i gollyngodd,—y ddinas,
Fan ei gu urddas, yn fuan gyrhaeddodd.

A'i hynaws lân, hoenus Iu,
Wnai wenu yn ei wyneb.

Y Mawredd, bu yn ymorol—am dano
Ymdynodd yn ffyddiol,
O'i groesawu i'w gu gol,
I fodrwy yr Anfeidrol.

Yn ei rhwym, trwy rym ei ras—y Ceidwad
A'i cododd i'w balas ;
Cadd yn rhwydd i'w ŵydd ei was,
I'w harddu â mawr urddas.

I geisio nôd gwas y nef—o wirfodd
Ei yrfa hyd adref,
Ystyriwn—dilynwn ef—o barhâu
I rodio 'i lwybrau cawn wenau 'r wiwnef.

---

# Bwrdd y Golygydd.

### CYFLWR ENAID HEB GORFF.

Barchedig Syr,—Darllenais yn ddiweddar mewn newyddiadur Seisonig grynodeb o bregeth a draddodwyd gan y Parch. S. Boucher, *Principal* y *Training College* yn Nghaernarfon, mewn eglwys yn Rock Ferry, ar gyfer Liverpool, ar yr achlysur o farwolaeth yr hen glerigwr parchus, y Parch. Dr. Redhead. Yn ei bregeth y mae Mr. Boucher yn gwadu fod yr enaid, pan yn ymadael â'r corff, ar hyn o bryd, yn myned i nefoedd neu uffern. "Mae duwinyddiaeth boblogaidd," medd efe, "yn golygu myned rhag blaen i'r nef neu rhag blaen i uffern. Ond y mae'r golygiad hwn yn wrthwyneb i synwyr cyffredin ac i'r Ysgrythyr. Nid yw yr enaid yn myned yn uniongyrchol i nefoedd nac uffern, ond i le canolaidd *(intermediate)*, yn gorwedd rhwng y ddau le hyny." Yr oedd y fath syniad gan ŵr parchedig o Gaernarfon yn fy synu yn fawr. Ond pan yr adroddais hyn i gyfaill deallgar efe a ddywedai wrthyf, "O y mae'r farn hyna yn gyffredin iawn y dyddiau hyn; nid yn unig gan agos holl glerigwyr Eglwys Loegr, ond gan laweroedd o Anghydffurfwyr dysgedig." Pa beth ? meddaf fi; ai gwir hyn ? A ydyw athrawiaeth ddiflas purdan y Pab yn ffynu ymysg Protestaniaid ac Ymneillduwyr efengylaidd ?

Da chwi, weinidogion ac ysgrifenwyr da perthynol i Fethodistiaid Calfinaidd Cymru, deuwch i ysgrifenu i'r Drysorfa, i roddi goleuni ysgrythyrol i ni ar y pwnc pwysig hwn.—Yr eiddoch, &c.

W. E. S.

---

### YSWIRIANT CAPELAU.

Mr. Golygydd,—Er pan yr ymddangosodd fy llythyr yn Nhrysorfa Chwefror, o dan y penawd uchod, hysbyswyd fi nad ydyw colledion blynyddol un o'r Cwmnïau Tânyswiriol mwyaf, oddiwrth leoedd o addoliad, o fewn i'r holl Deyrnas Gyfunol (yn cynnwys yr ysgoldai a'r tai anneidd perthynol iddynt), ond £15 y cant ar y *premiums*. Y mae lle i feddwl y byddai y colledion ar ein capelau ni yn llai.

Dyweder fod y *premiums* ar eiddo y Cyfundeb yn £750 yn flynyddol : ni byddai y colledion, hyd yn nôd yn ol y cyfrif uchod, ond tua £112. Hawdd fyddai neillduo swm bob blwyddyn er ffurfio math o *reserve fund* ar gyfer hyn ; a phe y sefydlid cwmni i'r Cyfundeb, diau y teimlai amryw o'r cyfranddalwyr yn falch o gael cyfleusdra i ddangos eu teyrngarwch, trwy roddi llôg eu harian dros amser tuag at yr un perwyl.—Yr eiddoch, &c.,

H.

---

# Adolygiad y Wasg.

**Oriau gyda'r Iesu, neu Berson a Bywyd y Gwaredwr.** *Gan* Owen Evans, *Llundain (diweddar o Lanbrynmair), awdwr y cyfrolau ar* "Y Gwyrthiau" *a'r* "Dammegion," &c. Yn Ddwy Gyfrol.

Wrexham: cyhoeddwyd gan Hughes and Son, Hope Street.

Y mae llyfrau blaenorol Mr. Evans, "Gwyrthiau Crist," a "Dammegion yr Arglwydd Iesu," yn rhagorol ac adeiladol iawn; ac nis gallasem ond rhoddi pob canmoliaeth iddynt pan eu cyhoeddwyd gyntaf. Ond rhaid i ni ddywedyd ein bod yn golygu y ddwy gyfrol ger ein bron yn rhagorach eto, yn ffrwyth ymchwil llafurus, ac yn teilyngu derbyniad cyffredinol a darlleniad dyfal. Cydnebydd yr awdwr ei fod wedi ymgynghori â'r ysgrifenwyr rhagoraf ar y materion goruchel a phwysig dan ei sylw, y rhai y cawn eu henwau ar odrau y dail; ond gwelir, fel y dywed efe, iddo arfer ei ryddid i farnu drosto ei hun, a bod y gwaith yn gynnyrch ei ymchwiliad, ei fyfyrdod, a'i grediniaeth ei hun.

Yn y gyfrol gyntaf, ar "Berson y Gwaredwr," cawn ddeuddeg o bennodau: Crist yn yr Hen Destament—yn y Testament Newydd—Crist fel dyn—fel Duw—fel Duwddyn—fel Cyfryngwr—fel Prophwyd—fel Offeiriad—fel Brenin—Crist a'r Ysbryd—Crist a'r credadyn—Crist a'r angylion. Ac yn yr ail, ar ol Nodau Arweiniol am amser ymddangosiad Crist, y wlad yr ymddangosodd ynddi, a'r bobl yr ymddangosodd yn eu plith, yr ydym yn cael pennodau ar y testynau,—Crist yn y preseb—Ymweliad y Doethion â'r Iesu—Yr Iesu yn ddeuddeg oed—Bedydd Crist—Y Temtiad—Dysgyblion cyntaf yr Iesu—Glanhâu y deml—Yr Iesu yn ymddyddan â Nicodemus—Crist wrth ffynnon Jacob—Sabbath cyntaf Crist yn Capernaum—Y Bregeth ar y mynydd—Crist a chenadau Ioan—Y Gweddnewidiad—Ceryddu zêl gyfeiliornus—Canlyn Crist—Yr Iesu a'r Gŵr Ieuanc — Tröedigaeth Zacheus — Dagrau Crist—Crist yn Gethsemane—Brâd ac edifeirwch Judas—Pechod a Dagrau Pedr—Crist ger bron y brawdlysoedd—Y Croeshoeliad — Yr Adgyfodiad — Y Deugain Niwrnod—a'r Esgyniad. Fel hyn dygir ymlaen y pethau mawrion a rhyfedd am ein Harglwydd a'n Hiachawdwr mewn modd trefnus a phriodol, a hyny gydag eglurdeb a manylrwydd, gan arddangos ysbryd addolgar, ac â nôd cymhwysiadol i bob gwirionedd. Rhydd help i'r darllenydd sylweddu iddo ei hun yr hanes hynotaf a phwysicaf oll; a rhaid mai arno ef y bydd y bai os na bydd y darlleniad yn effeithio i wneyd ei feddwl yn oleuach am Grist, a'i gariad yn gynhesach tuag ato.

Gan fod holl gynnwysiad y ddwy gyfrol mor odiaeth, anhawdd yw dyfynnodi detholion neillduol o honynt; ond tueddir ni i roddi rhyw ddau ddetholiad ger bron, fel engreifftiau o'r cyfansoddiad. Y cyntaf sydd ar y ddwy natur yn Mherson Crist:—

Trwy fod y ddwy natur yn gwneyd i fyny un Person, y mae yr hyn sydd yn perthyn yn briodol i un o'r ddwy natur yn unig yn wir am y Person. Y mae dyn yn cael ei alw yn ddyn tàl, yn ddyn hardd, neu yn ddyn iach, &c., oddiwrth faintioli a ffurf a sefyllfa ei gorff yn unig; neu yn ddyn doeth, yn ddyn dysgedig, ac yn ddyn da, oddiwrth ansawdd a sefyllfa ei feddwl yn unig. A'r un modd y mae yn briodol dyweyd am Grist, ei fod yn "Dad tragywyddoldeb," am ei fod felly o ran ei Dduwdod, a'i fod yn "fachgen a anwyd i ni," am ei fod felly o ran ei ddyndod (Esai. ix. 6). Y mae, hefyd, rai o weithredoedd Crist yn weithredoedd ei natur Ddwyfol, eraill yn weithredoedd ei natur ddynol, ac eraill, drachefn, yn weithredoedd yr oedd y ddwy natur yn cydweithredu i'w cynnyrchu; ond y maent oll i'w hystyried fel gweithredoedd yr *un* Person. Gellir rhanu gweithredoedd dyn i dri dosbarth: gweithredoedd perthynol i'w feddwl yn unig, megys myfyrio ac astudio—gweithredoedd perthynol i'w gorff yn unig, megys bwyta ac yfed—a gweithredoedd y mae'r corff a'r meddwl yn gydgyfranog ynddynt, megys llefaru ac ysgrifenu; ond y maent oll fel eu gilydd yn weithredoedd y dyn. Y dyn sydd yn myfyrio, y dyn sydd yn ymborthi, a'r dyn sydd yn ysgrifenu. Ac yn gyffelyb y mae am weithredoedd Crist. Fel y crybwyllwyd, yr oedd rhai o honynt yn weithredoedd ei natur Ddwyfol yn unig, megys creu a chynnal y bydoedd—eraill yn weithredoedd ei natur ddynol yn unig, megys bwyta ac yfed a chysgu—ac eraill, drachefn, yn weithredoedd yr oedd y ddwy natur yn cyduno ynddynt, megys gwneyd iawn am bechod. Ac eto y mae'r gwahanol fathau hyn o weithredoedd yn weithredoedd yr *un* Person; oblegid Crist a greodd y bydoedd—Crist oedd yn bwyta gyda'r publicanod—a Christ a "ymddangosodd unwaith yn niwedd y byd i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun" (Heb. ix. 26).

Y dyfynnodiad arall sydd ynglŷn â'r bradychiad gan Judas:—

Mae yn dra sicr mai yn raddol, ac nid ar unwaith, yr aeth Judas yn ddigon caled i gyflawni y fath weithred anfad. Nid oes unrhyw sail i feddwl fod ganddo fwriad i fradychu y Gwaredwr pan y bwriodd ei goelbren gyntaf ymysg y dysgyblion. O'r tu arall, y mae yn debygol fod ynddo rai tueddiadau da, a'i fod ar y pryd o dan argraffiadau crefyddol; a phe dywedasai

rhywun wrtho y pryd hwnw y buasai yn troi allan yn fradwr, y mae yn ddiau y buasai yn ateb fel Hazael, gan ysgornio y fath syniad erchyll, a gofyn, "Pa beth! ai ci yw dy was fel y gwnelai efe y mawr beth hyn?" Ond fe ymddadblygodd yr egwyddorion drwg oedd yn ei galon yn gyflymach na'i dueddiadau da, nes gorchfygu y cyfryw, yn debyg fel y gwelir chwyn weithiau mewn gardd, yn mygu ac yn llethu y llysiau cymhwys. Fe aeth Judas, wrth gario y gôd, i gelcio peth o'r arian, ac i gyflawni mân ladradau (Ioan xii. 6), a thrwy hyny i borthi a meithrin ei drachwant a'i ariangarwch, nes y mae o'r diwedd yn ddigon caled i werthu a bradychu ei Arglwydd er mwyn swm distadl o fudrelw. Ond er nad oedd gan Judas ar y dechre unrhyw fwriad i fradychu ei Arglwydd, eto fe ddengys yr hanes ei fod wedi rhagfwriadu y weithred ryw gymaint o amser cyn ei chyflawni; canys fe dywedir ei fod "ar fedr ei fradychu Ef." Dyna un gwahaniaeth pwysig oedd rhwng pechod Judas a phechod Pedr. Fe all dyn da gael ei oddiweddyd gan brofedigaeth, a syrthio i bechod gwaradwyddus, fel y mae hanes llaweroedd o dduwiolion y Bibl yn profi; ond dyn diràs sydd yn pechu oddiar ragfwriad pwyllog, gan ei "osod ei hun ar ffordd nid yw dda," a chwilio, fel Judas, am gyfleusderau i bechu. Mae yn debyg nad oedd Judas yn gweled nemawr o ddrwg yn ei bechod cyn ei gyflawni, nac yn meddwl y deilliai llawer o niwed o hono. Gwyddai am allu goruwchnaturiol yr Iesu, gan ei fod yn llygad-dyst o gynifer o'i weithredoedd nerthol; ac y mae yn bosibl ei fod yn dysgwyl y buasai y Gwaredwr yn defnyddio ei ymadferthoedd Dwyfol i ymryddhâu o ddwylaw ei elynion, ac felly na chawsai unrhyw niwed gwirioneddol, er iddo ef ei fradychu. Gellid meddwl oddiwrth yr hanes iddo deimlo yn siomedig, yn gystal âg yn edifar, pan welodd ddarfod condemnio yr Iesu. Fel hyn y mae pechod a Satan yn dallu meddyliau dynion, fel nad ydynt yn gweled drwg pechod na'i ganlyniadau alaethus wrth ei gyflawni; ac y mae yn gweddu i ni fod ar ein gocheliad rhag cael ein "caledu drwy dwyll pechod." Cofiwn y bydd pechod yn ymddangos yn wahanol yn yr *ad*olygiad i'r peth yr ymddangosai yn y *rhag*olygiad.

Am y wedd allanol ar y gwaith hwn, digon yw dywedyd fod y ddwy gyfrol o ran yr argraffwaith, y plŷg, a'r rhwymiad, yn deilwng o wasg glodwiw Hope-street, Wrexham.

---

COFIANT A PHIGION O BREGETHAU A LLYTHYRAU Y PARCH. JOHN ROBERTS, *Abergynolwyn, gan y Parch.* EVAN JONES, *Pentrecelyn, gyda Rhagymadrodd gan y Parch.* L. EDWARDS, *D.D., Bala; at yr hyn y chwanegwyd Pryddest Goffadwriaethol.*

Bala: Argraffwyd dros yr Awdwr gan Edward Jones.

NI phetruswn ddywedyd fod y llyfryn hwn (120 o dudalenau) yn werth ei feddu, a'i ddarllen yn astud—rhanau o hono drachefn a thrachefn—gan ein holl gyfeillion. I bobl ieuainc yn arbenig, a phregethwyr ieuainc yn neillduol, gall weinyddu daioni mawr i'w penau ac i'w calonau. Bu John Roberts farw yn ŵr ieuanc, yn un mlwydd ar ddeg ar hugain oed, wedi bod yn pregethu ryw ddeng mlynedd, ac yn y cyfamser wedi ennill lle mawr yn meddyliau a serchiadau pawb oedd yn gydnabyddus âg ef. Caniatâer i ni yma ddyfynnodi rhan o'r rhagymadrodd gan Dr. Edwards, nid yn unig o herwydd ei dystiolaeth am wrthddrych y cofiant, ond am ei fod yn gyflawn o addysg i'n cyfeillion ieuainc, ac i'n holl eglwysi:—

"Y mae y llyfr bychan hwn yn cynnwys adgofion am un o'r pregethwyr ieuainc mwyaf rhagorol a fu yn ein mysg; a dengys hefyd i swyddogion eglwysig pa fodd y mae cael rhai cyffelyb iddo. Nid trwy wthio ei hun, bodd neu anfodd, na thrwy ddawn traddodi oedd yn tynu sylw y cyffredin, y daeth John Roberts yn bregethwr. Dau beth yn fwyaf neillduol oedd yn ei hynodi y pryd hwnw: yn gyntaf, uniondeb a lledneisrwydd ymddygiad, ac, yn ail, diwydrwydd i ddysgu y Bibl a chasglu gwybodaeth ysgrythyrol. Er nad oedd y blaenoriaid lle y magwyd ef yn meddu cynneddfau cryfion, yr oeddynt yn ddigon craff i weled a gwerthfawrogi y rhagoriaethau hyn; ac yr oeddynt yn ddynion cydwybodol. Pe buasid yn ei anfon i fanau pellenig i roddi prawf o'i allu pregethwrol, ond odid na fuasai y ddedfryd yn myned yn ei erbyn; ond i'r rhai oedd wedi cael cyfleusderau i'w adnabod yn dda, yr oedd yn amlwg fod ynddo ddefnyddiau pregethwr, ac ni chawsant eu siomi; oblegid cynnyddodd yn raddol, a daeth yn bregethwr nerthol a chymeradwy. Os bydd gan ŵr ieuanc allu i siarad yn hyawdl, y mae hyny yn radd o gymhwysder ynglŷn â'r cymhwysderau eraill; ond hebddynt nid yw yn werth dim, oblegid os na fydd o ysbryd llednais, os na fydd yn afaelgar mewn gweddi, os na fydd yn hoff o ddarllen llyfrau crefyddol, ac o astudio y prif weithiau duwinyddol, ac os na fydd trwy bob moddion o fewn ei gyrhaedd yn ymdrechu i'w ddysgu ei hun cyn myned i ddysgu eraill, y mae yn hawdd penderfynu nad yw yr Arglwydd yn bwriadu i hwnw fod yn bregethwr."

Ymddengys fod Mr. Jones, ysgrifenydd y cofiant, yn ewythr, frawd ei fam, i John Roberts, a'r ddau wedi eu dwyn i fyny yn yr un ardal, ac yn yr un eglwys, sef yn Llangower, gerllaw y Bala; a chawn adgofion tra dyddorol am eglwys y Glŷn, lle y magesid hwy. Syniad yr ewythr am John ei nai ydyw, nad ydoedd efe "fel y llifeiriant gwyllt yn rhuthro gyda nerth anorchfygol, ac yn disgyn dros aml ddibyn rhamantus gyda mawredd a thrwst nes siglo, pe byddai bosibl, y creigiau oesol

gan eu nerth," nac ychwaith "fel yr afon fawr, ddofn, fordwyol, yr hon nas gellwch ganfod ei gwaelod ar frys, na phlymio ei dyfnder, a'i chefnllifoedd yn ymgodymu â'u gilydd mewn dystawrwydd mawreddog ar eu taith tua'r môr." Eithr yr ydoedd "fel yr aber dyner, wylaidd, yn ymlithro yn hanner lladradaidd drwy gŵr y weirglodd dêg, fel pe byddai arni gywilydd i neb ei gweled, ac yn gwasgar bywyd a sirioldeb a thlysni dros bob llanerch lle daw." Felly nid oedd efe "yn perthyn i ddosbarth y trwst a'r ymddangosiad," neu "i ddosbarth y gwir ddwfn a'r mawreddog," er mai tebyg ydyw "y gallasai, pe cawsai fywyd ac iechyd, ddyfod i berthyn i'r dosbarth hyna, gan mai dyfnhâu yr oedd y naill flwyddyn ar ol y llall."

Wedi bod, ar ol dechre pregethu, yn Ngoleg y Bala tua phedair blynedd, ac yn Mhrifysgol Aberystwyth ddwy, ymgymerodd yn y flwydddyn 1875 â gofal gweinidogaethol eglwysi Abergynolwyn ac Ystradgwyn, Gorllewin Meirionydd; ac er na pharhäodd y cysylltiad rhyngddynt ond tair blynedd a hanner, yr hyn a fu hyd ei farwolaeth, yr oedd efe wedi ennill y lle mwyaf yn meddyliau a serchiadau swyddogion ac aelodau y ddwy eglwys; a mawr oedd eu galar a'u hiraeth ar ei ol.

Yr ydym yn cael pigion o'i lythyrau at ei gyfeillion, "llythyrau y gallem sicrhâu," medd Mr. Jones, "na feddyliodd ef erioed y buasai llygad neb yn disgyn arnynt ond y personau hyny yr anfonai hwynt atynt;" ac y mae yn ymddangos mai cyfieithiad o'r Saesoneg yw y rhan fwyaf o honynt, yr hyn sydd yn gwneyd iddynt ymddangos i ni dan gryn anfantais. Ond gwelir y dyn doeth a da, yr efrydydd llafurus, y cristion cywir, a'r gweinidog ymroddgar, yn amlwg iawn ynddynt. Dyma fel yr ysgrifenai ryw ddeufis cyn ei farwolaeth:—

"Yr wyf wedi dysgu yn adnewyddol yn ystod fy ngwaeledd i ymddiried mewn Rhagluniaeth. Bum yn byw yn hyn am flynyddoedd, ac ni chefais Ragluniaeth erioed yn fyr o gyflawni ei rhan. Ond yn ystod y tri mis diweddaf, yr wyf wedi teimlo fel pe na buasai Rhagluniaeth yn gofalu am neb fel y gofalai am danaf fi; hyny yw, yr oedd mor neillduol fel y gallwn ei gweled ymhob peth. Ac yn awr yr wyf yn barod trwy holl anhawsderau bywyd i gymeryd fy safle yma yn gryf fel y graig, gan herio y byd yma a phob peth a fêdd. Pa beth os yw Rhagluniaeth yn troi yn fy erbyn? Wel, bydd i mi ei chyfrif er daioni i mi. Ac edrych o gyfeiriad y ddaear, gallesid meddwl ei bod yn fy erbyn yn ddiweddar; ond nid felly yr oedd, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Gwn ei bod yn gweithio yn y tywyllwch i fesur mawr; ond mi a ymddiriedaf yn Nuw; bydd Efe yn ei gwneyd yn amlwg. Dysgais y *boddlonrwydd* yn Nhrefriw; ac yr wy foddlawn, ac o ganlyniad yn ddedwydd, er hyny. Ond nis gallaswn byth ddysg gair hwn ond trwy un arall.—*ymddi* Dyma air gogoneddus: ymddiried, ymd ied yn Nuw! Pa beth a wna y byd i nac hyd yn nôd tragywyddoldeb, i m gallaf gymeryd fy safle yn y fan yma."

Rhoddir i ni un ar ddeg o'i bregeth a gwelir mai gwir yw tystiolaeth y Edwards am danynt. Ynglŷn â'i sylw John Roberts yn yr Athrofa wedi "dy y sefydlogrwydd a'r dyfalbarhâd â'i gal ogodd i ragori fel gweinidog yr efengy efe a ysgrifena,

"Y mae hyn i'w weled yn ei bregeth sydd yma yn argraffedig, y rhai ydynt nid lloffion o waith gwahanol awdwyr, ond ffrwy ei fyfyrdod a'i deimlad ef ei hun. Yr oe yn darllen llawer, mae yn ddiau, heb yr h ni buasai ganddo ddefnyddiau i *fyfyr* arnynt; ond yr oedd yn uno y ddau gyngh a rydd yr Apostol i Timotheus. *Hebla* glynu wrth ddarllen, yr oedd yn *myne* ymlaen at y cynghor arall, 'Myfyria ar y pethau hyn, ac yn y pethau hyn aros, fel y byddo dy gynnydd yn eglur i bawb.' Y effaith o hyn oedd, fod rhyw newydd-deb parhâus yn ei bregethau, fel y mae pawb sydd yn myfyrio yn ddwfn yn sicr o ddwyn allan feddyliau newyddion; a'r hyn oedd yn coroni y cwbl oedd fod ynddynt wrês teimlad yn gystal a goleuni deall."

Ni cheisiwn yma roddi detholion o honynt, gan yr hyderwn y bydd darlleniad cyffredinol arnynt fel eu ceir yn y llyfr o'n blaen. Y mae y "Bryddest Goffadwriaethol" gan Ieuan Meurig o Abergynolwyn yn dra phortreiadol a theimladol; ac wrth ei darllen, anhawdd peidio ymsynio gydag Ieuan,

"Paham, paham, O Brynwr byd,
Y gelwaist ef i'r nef mor gynnar?"

"Mor ddyrys ydyw llwybrau 'r Iôr!
Pwy fedr dramwy hyd-ddynt?
Dy ffyrdd, O Dduw, sydd yn y môr:
Anesboniadwy ydynt."

---

SATAN'S GUILE AND SATAN'S WILES, OR, THE BATTLEFIELD OF TWO WORLDS. *By* E. LLOYD JONES.

London: S. W. Partridge & Co.

ODDIWRTH yr enw *E. Lloyd Jones*, yr oeddem yn tybied mai un o genedl y Cymry oedd awdwr y llyfr hwn; ond yn awr yr ydym yn deall ddarfod ei gyfansoddi, nid gan awdwr, eithr gan awdures, yr hon sydd yn trigiannu yn Penrallt, Penmaenmawr. Ac fe welir ar unwaith wrth ei ddarllen fod Miss Esther Lloyd Jones wedi

ei thymheru âg ysbryd crefyddol, ac yn gyfarwydd iawn yn yr Ysgrythyrau sanctaidd.

Cynnwysa y llyfr chwech o bennodau. Y Bennod Gyntaf sydd am Dduw fel y Bôd Anfeidrol—creadigaethau yr angylion a dyn—sefyllfa yr angylion—pechod a chwymp Satan. Yr Ail Bennod sydd am ddyn: parotoi'r byd i'w ddyn pan grëwyd ef—ei gorff a'i enaid—natur a gweithrediadau y gydwybod a'r ewyllys. Ymdrinia y Drydedd Bennod am y temtiwr a'i demtasiynau — cwymp dyn — canlyniadau y cwymp—y pechodau o falchder a chenfigen. Y Bedwaredd Bennod a rydd esiamplau o'r Bibl o falchder a chenfigen—i lawr o Cain hyd Judas. Y Bummed Bennod a sylwa ar ysbryd addoliad—y pwys o'i feithrin, ac fel y mae'r diafol yn gwneyd pob ymgais i rwystro a dyrysu hyny. A mater y Chweched Bennod yw yr adgyfodiad a dydd y farn, pryd y bernir pob un yn ol ei weithredoedd, ac y dadlenir holl ddrwg a dichell Satan a'i angylion. Yr ymresymiad trwy yr oll ydyw fod yr Un Drwg wedi syrthio o'i gyflwr gwreiddiol—ei burdeb a'i wynfyd—trwy falchder a chenfigen, ac mai ei amcan mawr bellach yw ennill dynion i gyflawni yr unrhyw bechod ag a fu yn ddinystr iddo ef ei hun. Cawn yr awdures deilwng yn Galfinaidd ei hathrawiaeth—yn credu mewn etholedigaeth yn ol rhagwybodaeth Duw er tragywyddoldeb, ac eto yn dal nad yw hyny yn un rhwystr ar ffordd pechadur i ddyfod at Grist, gan y gwahoddir pawb ato, ac na wrthodir neb a ddaw. Fel y dywed un adolygydd Seisonig am y llyfr hwn, dywedwn ninnau, "Nis gall lai na bod o fawr wasanaeth ymarferol mewn anfon adref rai materion pwysig i ystyriaeth y darllenydd gonest." Mae y papyr, yr argraffwaith, a'r rhwymiad, yn peri ei fod yn ymddangos yn hynod hardd a destlus.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYDNABOD CAREDIGRWYDD.

Yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd yn Canton, Caerdydd, hysbysid gan y Parch. D. M. Jones a Mr. Lloyd, Pentre, am eu hymweliad â goruchwyliwr Iarll Dunraven ynghylch *lease* a *ground-rent* capel Blaenrhondda; ac yr oedd ganddynt y newydd da fod y boneddwr wedi rhyddhâu y cyfeillion yno o'r ddyled oedd dros £20 arnynt, ac addaw rhoi y tir am weddill amser a *lease* am hanner yr ardreth oedd arno yn flaenorol; a diolchwyd i'r ddau ymwelydd ffyddlawn, ac anfonwyd hefyd ddiolch i'r boneddwr caredig.

### SYMUDIAD GWEINIDOGAETHOL.

Gan fod y Parch. W. T Jones wedi symud o Ynys Enlli, fel yr hysbyswyd mewn rhifyn blaenorol, i fugeilio eglwys Rhydbach, yn Lleyn, y mae Mr. W. Jones, Gosen, yn yr un Cyfarfod Misol, wedi ei alw yn "esgob" Enlli, a'r penodiad wedi ei gadarnhâu gan y Cyfarfod Misol. Yr ydym yn deall fod y Parch. Thomas Ellis, yr hwn sydd mewn gwirionedd yn hen weinidog bellach yn Llanystymdwy, Eifionydd, wedi ei alw yno yn awr yn weinidog hefyd mewn enw a ffurf; a'r un modd y mae am y Parch. D. Roberts yn Abererch.

### YR ADFYWIAD YN LLEYN AC EIFIONYDD.

Y mae yn hyfryd genym glywed a gweled adroddiadau am gynhyrfiad crefyddol tra grymus o fewn cylch Cyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd yn yr wythnosau diweddaf. Mae yn agos i saith cant o bersonau wedi eu chwanegu at yr eglwysi, yn benaf trwy offerynoliaeth y Parch. Richard Owen, Penmaenmawr, gynt o Cana yn Môn. Byddai yn dda genym cael crynhôad o hanes yr adfywiad presennol hwn yn ein rhifyn nesaf.

### WALLAROO, AUSTRALIA.

Yr oeddem yn rhoi hanes yn ein rhifyn diweddaf am gylchwyl flynyddol ynglyn â'r eglwys Gymreig yn Wallaroo. Ar ol hyny derbyniasom y *Wallaroo Times* yn rhoi hanes fod y gweinidog parchus a defnyddiol yno, y Parch. John Lloyd, wedi cael gwahoddiad i ymsefydlu yn Stawell gyda'r Saeson a'r Cymry. Yr oedd yr eglwys yn Wallaroo yn mawr ofni ei golli, ar ol bod yn gweinidogaethu iddi yn ffyddlawn er ys pymtheng mlynedd; a llawenhäwyd hi yn ddirfawr yn mhenderfyniad Mr. Lloyd i aros eto gyda'i gyfeillion gwresog yn Wallaroo.

## Bywgraffiaeth.

### Y DIWEDDAR BARCH. GRIFFITH WILLIAMS, TALYSARNAU.

*Gan y Parch.* R. H. MORGAN, M.A., *Abermaw.*

Brodor o Dolwyddelen, hen gartref amryw o bregethwyr enwog gyda'r Methodistiaid, oedd Griffith Williams, tad ein hanwyl frawd, am farw yr hwn y mae dagrau hiraeth i'w canfod eto ar lawer grudd yn Ngorllewin Meirionydd. Yn Nolwyddelen y magwyd ef, ac y treuliodd ran o'i oes; yno y bu farw, ac

yno hefyd y gorphwys ei lwch wrth ochr eiddo ei hoff briod. Yr ydoedd yn hanner brawd i'r hen bregethwr, John Williams, o'r un lle. Gwelir felly fod rhywfaint o waed llwyth Levi yn y teulu. Genedigol o Sir Ddinbych oedd ei fam, Ellen Williams, a ddaeth i wasanaethu i gymydogaeth Dolwyddelen pan yn lled ieuanc; ac ar ol rhai blynyddoedd, unwyd hi mewn glân briodas â Griffith Williams. Bu Ellen Williams farw Chwefror 1, 1863, wedi cyrhaedd yr oedran teg o 79; a Medi 14, 1873, disgynodd ei hanwyl briod i'r bedd fel "ysgafn o ŷd yn ei amser," yn 87 mlwydd oed. Ganwyd iddynt chwech o feibion a thair merch, o ba rai nid oes yn fyw yn awr ond un mab—Mr. John Williams, Rhiwbryfdir, Ffestiniog,—a dwy ferch a ymfudodd i'r America tua 39 mlynedd yn ol. Prif hynodrwydd Griffith ac Ellen Williams ymhlith eu cymydogion oedd, eu bod "ill dau yn gyfiawn." Buont fyw a buont feirw heb i ddim neillduol gymeryd lle yn hanes eu bywyd na'u hangeu. Fel y gweddill o feibion dynion a "aned i flinder," treuliasant eu blynyddoedd fel chwedl; ac er iddynt gyrhaedd ymhell dros y deng mlynedd a thriugain, eto yn ebrwydd y darfyddodd eu nerth, a hwy a ehedasant ymaith.

Adroddwyd dau hanesyn wrthym am yr hen ŵr, Griffith Williams, sydd yn taflu goleuni ar ei gymeriad, ac yn esbonio i raddau hefyd rai o nodweddion ei fab. Ymddengys ei fod yn agored i'r brofedigaeth o feithder mewn gweddi gyhoeddus; ac, fel y gwyddys, dyma un o'r troseddau mawr yn erbyn dynion a gyflawnir yn yr eglwys. Llawer cerydd llym a weinyddwyd ar Griffith Williams yn ei herwydd; a pheth digon cyffredin oedd i rywun roddi awgrym eglur iddo, trwy dynu yn ngodre ei gôb, ei bod yn bryd terfynu y weddi faith. Ond yr oedd yr hen ŵr o dymher mor hynaws a charedig, fel na byddai byth yn digio dan yr orchwyliaeth ddarostyngol. Pan ddaeth Temlyddiaeth Dda i'r wlad, teimlai yn awyddus i ymuno â hwynt yn Nolwyddelen; a rhyw nos Sadwrn o flaen y Sulgwyn, fe'i derbyniwyd yn aelod o'r gyfrinfa. Cyn myned i orphwys, dywedodd wrth ei lettŷwr am beidio aflonyddu dim os clywai ef yn codi yn lled fore dranoeth, gan fod arno eisieu myned i alw mewn pedwar o leoedd cyn yr oedfa ddeg. Ni theimlai ei lettŷwr yn dawel i hen ŵr dros ei bedwar ugain oed adael ei dŷ mor fore heb neb gydag ef; ac am hyny gofynodd i ddyn oedd yno yn cydlettŷa godi a myned allan gydag ef. Bump o'r gloch bore'r Sulgwyn, wele Griffith Williams ar ei draed, ac yn cychwyn allan. "Mae arnaf eisieu myn'd," meddai wrth ei gydymaith, "i ymweled â rhyw bedwar lle unwaith eto cyn marw,—lleoedd y bum i lawer gwaith ynddynt yn erfyn am fy mywyd." Yna aethant i ryw lanerchau neillduedig a digon dinôd yn ngolwg y byd, ond pedair Bethel gysegredig byth yn nghalon yr hen gristion; ac yno syrthiai ar ei liniau a gweddïai, gan ddiolch i'r nefoedd am y fendith a dderbyniodd yn y lle hwnw, ac am holl ddaioni Duw tuag ato ar ol hyny.

Ganwyd ei fab Griffith yn Dolwyddelen yn y flwyddyn 1824. Ychydig iawn o fanteision addysg foreuol a ddaeth i'w ran. Ei brif ddifyrwch yn nyddiau ei ieuenctyd oedd peiriannau; ac y mae yn ddiddadl, medd ei frawd, pe buasai ei amgylchiadau a'i fanteision yn caniatâu, mai peiriannydd *(engineer)* y carasai fod. Yr oedd y ffosydd o amgylch tŷ ei dad yn llawn o lynau bychain, cafnau, olwynion, a phob math o beiriannau dwfr. Yr ydym yn cofio yn dda am un olwyn ddwfr brydferth, tua dwy droedfedd o dryfesur, o'i waith a ddaeth i'r Vaeldref, ac a fu yno yn troi am flynyddoedd lawer, ac yn rhoddi nid ychydig o fwynhâd i'r plant, hyd nes y dinystriwyd hi gan ryw *Vandals* cymydogaethol. Bu efe, fel llawer bachgen athrylithgar, yn ymboeni ac yn dyfeisio uwch ben *problem* y *perpetual motion;* a thybiodd yntau hefyd ei fod wedi darganfod y dirgelwch. Eglurodd ei gynllun i ryw gyfaill, ac addawodd hwnw ddwyn holl dreuliadau gwneuthuriad y peiriant. Y cynllun oedd, ceisio gwneyd i'r un dwfr droi olwyn am byth: ac i'r dyben hwnw cysylltid dau *pump* wrthi, y rhai a fwriedid i godi yn ei ol i'r cafn yr holl ddwfr a ddisgynai. Methiant fu y peiriant, er ei fod *bron* a llwyddo. Yn herwydd y nerth a gollid trwy *friction,* nid oedd yr olwyn yn gallu codi cymaint o ddwfr ag a ddefnyddiai, ac am hyny arafai yn raddol ac yna safai. Cynnyrchodd y mesur o lwyddiant a gyrhaeddodd y peiriant lawer o siarad yn yr ardal; a byddai llofft y tŷ—oblegid *yno* yr oedd ei weithdŷ—yn llawn bob nos o bobl yn rhyfeddu uwch ben y ddyfais. Yno y byddai y cynllunydd wrth ei fodd, yr olwyn yn chwyrnellu, ac yntau yn gwneyd i fyny ddiffyg y *pumps* trwy dywallt ychydig o ddwfr i'r cafn o big tecell *(tea kettle).* Yr oedd yr un duedd beiriannyddol yn peri ei fod hyd y diwedd yn cymeryd dyddordeb neillduol yn y *train* a'r *telegraph*, a phob peiriannwaith yn agos ato; a chafodd lawer o fwynhâd wrth ddarllen hanes cludiad Nodwydd Cleopatra o Alexandria i Lundain. Yn ei bregethau deuai yr un nodwedd i'r golwg mewn cywreinrwydd cynllun a chyfatebiaethau prydferth. Rhagorai fel rhifyddwr hefyd, megys y cyffredin o beiriannwyr o waith creadigaeth ac nid celfyddyd. Yr oedd yn lled hyddysg mewn mesuriaeth, alsoddeg *(algebra),* trigonoliaeth *(trigonometry),* ac i ryw raddau hefyd mewn daearyddiaeth a seryddiaeth. Bu am yspaid byr yn cadw ysgol yn Tanygrisiau; a thystiolaeth ei ysgoleigion yw na welsant neb erioed yn gallu egluro a dysgu egwyddorion rhifyddiaeth gystal âg ef. Yn ei Gyfarfod Misol yr oedd yn bur hoff o gynlluniau, yn enwedig rhai â *figures* ynddynt; ac er na byddent mwy na'r olwyn ddwfr bob amser yn llwyddiannus mewn ymarferiad, eto dangosent lawer iawn o fedr a chywreinrwydd yn y cynllunydd.

Ni pharhaodd dyddiau difyrus y peiriannau dwfr yn hir, oblegid bu raid iddo tra eto yn ieuanc fyned i weithio yn chwareli Ffestiniog. Nid oedd ond chwarelwr ddigon canolig, canys darllen a chynllunio oedd ei hyfrydwch. Tua'r amser yma syrthiodd arno ysbryd ymfudo i'r America, a phenderfynodd fyned; ond un diwrnod yn y chwarel, pan

yn llawn o'r ysbrydiaeth hwn, aeth i ddychymygu ei hun yn y wlad ddyeithr, ac yna cymerodd lechen, a dechreuodd ysgrifenu arni lythyr adref at ei dad a'i fam yn Nghymru. Wrth ysgrifenu fe'i gorchfygwyd gan hiraeth, a thorodd i wylo yn hidl, ac felly digalonodd i gychwyn i'r America. Fel y canfyddir oddiwrth yr hanesyn hwn, nid oedd dewrder a phenderfyniad yn elfenau amlwg yn ei gymeriad. Carai dawelwch a heddwch, ac am lonyddwch gwelai mai da ydoedd.

Cymerai ran gyhoeddus yn y moddion crefyddol er yn lled ieuanc; ac yr oedd yn areithiwr da ar Ddirwest. Trwy areithio a holi plant, daeth yn raddol i ddechre pregethu. Traddododd ei bregeth gyntaf yn Tanygrisiau, ar y geiriau, "Can wired a bod yr Arglwydd yn fyw, a th enaid dithau yn fyw, nid oes ond megys cam rhyngof fi âg angeu" (1 Sam. xx. 3). Y diwrnod cynt yr oedd dyn yn byw yn un o'r tai nesaf at y capel wedi ei ladd; ac yr oedd hyny, medd ei frawd, ynghyd âg arddeliad y nefoedd, yn peri mai hono oedd un o'r oedfaon mwyaf effeithiol a gafodd erioed. Bu yn yr ysgol gyda y diweddar Barch Robert Parry, Ffestiniog, ei gyfaill mynwesol, am dymmor byr; ac yn 1849 aeth i Athrofa'r Bala. Ni fu yn hynod o lwyddiannus fel efrydydd yn y Coleg. Gallai ddarllen Saesoneg yn rhwydd, ond ychydig a fedrai ei siarad. Yn mlynyddau cyntaf ei weinidogaeth, cariai gydag ef yn ei logell Destament Groeg bychan; a phan ofynodd ei frawd iddo rywdro i ba beth yr oedd yn rhodresa ei gludo gydag ef, ac yn cymeryd arno ei ddarllen, atebodd, "Mi fyddaf fi yn cael mwy ynddo nag mewn llawer esboniad." Nid cwbl ofer felly a fu ei arosiad yn y Bala.

Wedi gadael yr Athrofa, aeth i Lanarmon i gadw ysgol am dymmor. Cofir am dano yno fel yr ysgolfeistr mwyaf doniol a dyddan, yn llawn o ddigrifwch ac arabedd, ac yn hynod am ei allu i fyned i serch ei ysgoleigion, beth bynag am ei fedr i'w hyfforddi mewn dysgeidiaeth. Yn 1855 priododd Miss Sarah Jones, merch y diweddar Barch. Isaac Jones, Nantglyn; ac ymsefydlasant yn Nhalysarnau, lle y bu fyw am 26 mlynedd hyd Hydref, 1881, pryd y cymerwyd ef ymaith i fwynhâu yr "orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw."

Ei hanes yn ystod y cyfnod yna yw hanes cyffredin llawer gweinidog gyda'r Methodistiaid. Gwasanaethodd yr efengyl a'i Gyfundeb yn ffyddlawn fel pregethwr a swyddog. Bu am flynyddau â gofal cyfarfod ysgolion y dosbarth arno, a chyflawnodd y gorchwyl yn ffyddlawn. Symudai ymlaen gyda phob gwelliant; ac os oedd ei gorff yn heneiddio, parhâi ei ysbryd yn dirf ac iraidd. Dilynai y Cyfarfodydd Misol yn dra chyson, a daeth yn fuan i lenwi cylch lled bwysig yn y Sir. Ystyrid ef yn ddyn call a phwyllog, yn ŵr o gynghor mewn amgylchiadau dyrys, yn un hynod o fedrus i weled rhyw lwybr canol. Ond fel gŵr o gydymdeimlad mewn profedigaethau y rhagorai fwyaf. Gallai wylo dagrau gwirioneddol gyda'r rhai oedd yn wylo, cysuro y rhai trallodus, a dyddanu y gwan eu meddwl. Byddai dim ond ei weled yn ys gafnhâu calon llawer gwraig weddw; ac yr oedd ei eiriau tyner a theimladol yn falm i archollion yr amddifaid.

Ni bu yn cydoesi llawer â'r Parch. R. Humphreys o'r Dyffryn, cofiant yr hwn a ysgrifenwyd mor ragorol ganddo; ond yr oedd yn gyfaill cywir a mynwesol i'w fab yn nghyfraith, y Parch. E. Morgan. Bu Mr. Morgan ac yntau ar daith gyda'u gilydd fwy nag unwaith trwy rai o Siroedd y Gogledd, yn casglu at Gronfa'r Athrofa; a rhyfedd mor hapus a dyddan oeddynt. Os byddai meddwl y casglydd yn isel o herwydd aflwyddiant, gallai efe beri adloniant iddo trwy ryw sylw digrif; a phan ar ei uchel fanau, ar ol llwyddiant, adgoliâi Mr. Williams iddo gasgliad bychan rhywle arall er mwyn cymedroli y llawenydd. Cychwynent un bore tuag adref ar ol taith led aflwyddiannus yn Sir Drefaldwyn; a theimlai Mr. Morgan yn ddigon digalon. Gwelodd Mr. Williams hyny; ac i sirioli ychydig arno, dywedai wrtho os nad oedd wedi cael llawer o arian *da* ar y daith, ei bod yn well arno nag yr oedd arno ef, gan ei fod ef wedi cael un swllt *drwg* fel cydnabyddiaeth yn rhywle. "Yr wyf fi yn cynnyg," meddai, "i ni wneyd pennill rhyngom yn goffadwriaeth am y daith." "Ni fedraf fi ddim," atebai Mr. M.; "ni wnês i yr un pennill erioed." "Ceisiwch," medd Mr. W., "gwnewch chwi y linell gyntaf, ac mi wnaf finnau yr ail." Felly bu; dechreuodd Mr. M. gyda'i linell ef:—

"Derfydd teithio Sir Drefaldwyn,"

"Derfydd derbyn arian drwg,"

medd Mr. W.; ac yno y terfynodd y pennill mewn chwerthin, a pharhaodd y sirioldeb hyd nes y cyrhaeddasant adref.

Yr oedd ei synwyr cryf a'i arabedd, ynghyd a'i gymeriad dysglaer fel dyn a christion, yn sicrhâu derbyniad croesawgar iddo lle bynag yr elai. Yn nghanol ei holl ddigrifwch, gofalai bob amser am chwaeth bur a dyrchafedig; a theimlwn yn eithaf sicr nad oedd dim tuedd yn y chwerthin a gynnyrchai ei sylwadau i lygru meddwl neb, nac yn wir i beri dim gormod ysgafnder. Yr oedd ei ddawn i fod yn ddifyr ac yn addysgiadol ar yr esgynlawr ger bron cynnulleidfa yn gyfryw ag a'i gwnaethai yn "arweinydd" dan gamp mewn eisteddfod gydag ychydig o ymarferiad; ond yr oedd Mr. Williams yn rhy gall, ac yn synio yn rhy uchel am urddas gweinidog yr efengyl, i ymostwng i wneuthur dim tebyg "i chwareu o flaen y bobl." Ffieiddiai bob coegddigrifwch, yr hyn nid yw ddigrifwch gwirioneddol, namyn ffolineb yn rhith ffraethder. Pan yn areithio mewn cyfarfod dirwestol, yn rhoddi cynghor i'r ymgeiswyr mewn cyfarfod llenyddol, neu yn gwneyd ychydig sylwadau call i wastadhâu pethau, ac i dori grym rhyw air garw mewn dadl boeth yn y Cyfarfod Misol, yr oedd Mr. Williams i'w weled i'r fantais oreu. Yr ydym yn ei gofio yn hapus iawn mewn cyfarfod llenyddol yn y Dyffryn, yn annog ymgeiswyr aflwyddiannus i ganmawl yn hytrach na beio y cyfarfod a'r beirniaid. "Byddwch yn debyg i'r dyn hwnw a aeth i Lundain," medd efe; "a phan ddychwelodd, ei waith oedd canmawl y Frenines,

ei bod hi yn wraig hardd a thirion, a rhyw rinweddau fil yn perthyn iddi. 'A welsoch chwi hi?' gofynai rhywun iddo. 'Naddo,' meddai yntau, 'ond fe fu *just* iawn i ŵr fy nghyfnither i ei gweled hi. Os na chawsoch chwi y wobr, hwyrach eich bod chwi yn agos i'w chael hi. Canmolwch dipyn!" Fel pregethwr nid oedd Mr. W. yn boblogaidd gan "y llawer." Nid oedd ganddo lais peraidd, ac nid oedd chwaith yn hapus yn ei draddodiad; ac am hyny, pregethwr gweddol iawn y cyfrifid ef gan y dosbarth lliosog hwnw sydd yn rhoddi mwy o bris ar y sŵn na'r synwyr, a chyda pha rai y "mae mwy o fyn'd ar y glec nag ar y geiriau." Ar yr esgynlawr nid oedd neb yn fwy rhydd a naturiol. Siaradai yn y dull ymddyddanol; ond yn y pulpud mabwysiadodd yr arddull draethodol. Yr oedd 'oblegid,' 'o herwydd," 'canys,' 'eithr,' i gyd yn eu lle, a'i frawddegau wedi eu cyfansoddi yn ddestlus a chwaethus. Eto nid dyna oedd ei arddull briodol; ac felly gosod odd ei hun mewn cadwynau wrth ei defnyddio. Arweiniodd hyn ef i lusgo gyda'i eiriau, gan osod y pwyslais ar y sillau olaf bob amser, yn lle tori y gair yn eglur a myned ymlaen at y nesaf. Yr oedd efe ei hun mor ymwybodol o'r diffyg hwn â neb arall, ac yn teimlo llawer o'i herwydd. Rhybuddiai bregethwyr ieuainc yn y modd mwyaf difrifol i ochel yn y dechre bob arferiad ddrwg. Oblegid yr afrwyddineb ymadrodd hwn, ni byddai ei bregethau bron byth yn nerthol yn y traddodiad o honynt; ond byddai gwrandäwyr astud a meddylgar bob amser yn cael rhywbeth ynddynt nad oedd i'w gael yn fynych yn mhregethau llawer brawd mwy ystwyth ei barabl. Nodweddid ei bregethau, yn enwedig y blynyddoedd diweddaf, gan gywreinrwydd eu cynllun, prydferthwch y sylwadau, iaith bur, a chyfansoddiad naturiol; ac weithiau deuai ambell frawddeg fyw yn cyrhaedd hyd adref fel mellten ddisymwth o ganol y cymylau. Wrth bregethu ar yr "ysbrydion yn ngharchar," clywsom ef yn desgrifio ei ymweliad âg un o garcharau Llundain. Aeth â'r gynnulleidfa gydag ef trwy yr holl ddorau cryfion; parai iddynt weled y bàrau cedyrn wedi eu sicrhâu; ac wedi eu cymeryd i'r gell nesaf i mewn a'i desgrifio yn ddoniol iddynt, edrychodd arnynt yn syn, a dywedodd, "Yr oedd yn dda iawn genyf feddwl pan yno, nad oedd yr un gyfraith a allasai fy nghadw i yn y carchar," nes yr oedd ei eiriau yn treiddio fel trydan trwy y gynnulleidfa. Clywsom am dano yn pregethu yn B—— unwaith ar y brawd hynaf yn nameg y mab afradlawn. Yn ei ddull tawel ac effeithiol, desgrifiai y tad yn dyfod allan, ac yn ymresymu âg ef, ond y mab yn para yn gyndyn; "ac yna," meddai, "mi dybiaf fy mod yn ei weled yn troi ar ei sawdl, ac yn diystyru yr hen ŵr ei dad." Ar hyn dyma ryw was boneddwr oedd yn gwrandaw yn hynod astud, wedi anghofio ei hunan yn gwbl, mewn llais cynhyrfus yn rhegu y mab hynaf dros y capel. Daeth y dyn at y blaenoriaid ar ddiwedd yr oedfa i erfyn eu maddeuant am ei ymddygiad anweddus; "ond meddwl ddarfu m i," meddai wrthynt, "fy mod yn gweled yr hen fachgen anghynhes yn dirmygu ei dad." Anhawdd fuasai rhoddi gwell canmoliaeth i'r pregethwr na'r geiriau yna; oblegid anaml iawn y mae hyd yn nôd prif bregethwyr yr oesoedd yn llwyddo i dynu sylw eu gwrandäwyr nes gwneyd iddynt anghofio eu hunain. Er fod Mr. Williams yn feddiannol ar *humour* a *wit*, ni byddai byth yn eu dwyn i'r pulpud fel ag i greu unrhyw ysgafnder. Byddent yno weithiau; ond ni chynnyrchent fwy na gwên ddiniwed ar wynebpryd y gwrandäwyr. Yn y bregeth y cyfeiriwyd ati ar "yr ysbrydion yn ngharchar," wrth sôn am yr anhawsder i esbonio y geiriau hyn, dywedai, "Byddaf fi yn meddwl fod myned i edrych llawer o esboniadau, gan ddysgwyl dyfod o hyd i'r gwir mewn achos fel hyn, yn debyg i ddyn yn myned i *shop* y *watchmaker* i gael gwybod yr amser iawn. Gwêl yno lawer o glociau a *watches* o'i amgylch; ond nid oes dau o honynt yr un fath; y mae gan bob un ei amser ei hun. Felly gyda'r esbonwyr yma."

Fel ysgrifenydd, meddai ar ddawn o radd uchel. Gwnaethai draethodwr (*essayist*) rhagorol yn ol dull Addison a Steele; a diammheu pe buasai yn gallu ysgrifenu yn Saesoneg cystal ag y gwnai yn Gymraeg, y buasai i'w lyfrau gylchrediad wrth y miloedd trwy y byd. Cyhoeddodd dri o lyfrau; "Cofiant y Parch. R. Humphreys o'r Dyffryn," "Yr hynod William Ellis o Faentwrog," a "Bwthyn fy Nhaid Oliver." Maent wedi eu hysgrifenu mewn arddull goeth, yn llawn o ddawn, ac yn gadael argraffiadau daionus ar feddwl y darllenydd. Tybiwn mai un o'r pethau cyntaf o'i eiddo a ymddangosodd o'r wasg oedd dwy ysgrif dalentog yn y "*Methodist*" ar "ofyn cyhoeddiad." Er fod y nodiadau hyn yn myned braidd yn faith, teimlwn yn anfoddlawn i'w terfynu heb ychwanegu y dyfyniad canlynol o'r ysgrif hono, sydd mor nodweddiadol o Mr. Williams fel dyn a llenor.

Ymgom rhyngddo ef â phen-blaenor—gofynwr cyhoeddiad—rhywle ydyw y rhan fwyaf o'r ysgrif; ac yn ystod yr ymddyddan, dygwydd y dernyn canlynol ynghylch barn y lliaws am bregethwyr:—

"'Y mae gweled ambell un poblogaidd yn gwneyd i ddyn cals ffieiddio meddwl am fod yn ddyn y *llawer*.

'Beth ydych yn ei feddwl?'

'Meddwl yr wyf fod y wlad yn myned ar ol llawer, nid oblegid gweled gogoniant yn eu meddyldrychau, na chlywed hyawdledd eu doniau, ond 'am iddynt fwyta o'r torthau a'u digoni;' rhywbeth o'r tu allan i'r pregethwr sydd yn denu llawer ar ei ol. Ac nid wyf yn meddwl fod ein trefydd mawrion fawr o flaen y wlad. Fe ddygwyddodd i mi gael cyfleusdra unwaith i fyned i wrando pregeth i un o'r trefydd ag y mae y Cymry fwyaf blodeuog ynddi; ac ar ryw achlysur fe roddodd y pregethwr glèc ar ei fawd; nid wyf yn cofio ymha gysylltiad y daeth hono i fewn; ond yr oeddwn yn deall ar y gynnulleidfa fod mwy o fyn'd ar y glèc nag ar y geiriau; ac yr oedd mwy o sôn am dani wrth fyned adref na dim arall oedd wedi cymeryd lle yn y gwasanaeth y tro hwnw. Gan rai y gwaeddwr goreu yw y pregethwr goreu. Wrth bregethwyr o'r dosbarth hwn y dylid dywedyd, 'Llefa â'th geg ac nac arbed.' Gan eraill y pregethwr hwnw y bydd rhyw hynodrwydd yn ei gorff yw y goreu. Y mae yn y gymydogaeth nesaf i ni ddyn a fydd yn canmawl pob pregethwr os

bydd yn rhuo rhywbeth. Weithiau clywir ef yn canmawl, 'Acw yr oedd pregethwr da ddoe, dyn bychan teneu, gallasech weled trwy ei ddwylaw.' Bryd arall dywed, 'Wel, yr oedd acw un da ddoe, dyn mawr, mawr, cryn ddeuddeg ugain o bwysau.' Y tro diweddaf y bum yn ymddyd dan âg ef, dywedodd wrthyf, 'Ddoe y cawsom ni bregethwr. Yr oedd o yn llaun o ddyn dwy lath a modfedd.' Gan eraill drachefn y pregethwr dyeithr yw y goreu. Rhyw un ond iddo fod fel y gwynt na 'wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba y mae yn myned.'"

Ar ol cystudd trwm am fisoedd, ac wedi dyoddef llawer gan boenau corfforol ac iselder meddwl, gadawodd fyd y blinder nos Sabboth Hydref 23, 1881, am fyd y Sabboth tragywyddol, yn 67 mlwydd oed. Teimlai y diwedd yn agoshâu: ysgafnhâi ei feddwl, goleuai y glŷn o'i flaen; a chan gredu fod y "Duw hwn" "yn ei dywys hyd angeu," adroddai yn aml y geiriau hyny.

"Ni phery ddim yn hir
Y ddu dymhestlog nos;
* * * *
Mae 'r hyfryd wawr sy 'n codi draw
Yn d'weyd fod boreu braf gerllaw."

Y dydd Gwener canlynol, sef Hydref 28, ymgynnullodd tyrfa fawr i'w hebrwng i "dŷ ei hir gartref" yn mynwent y Dyffryn, gerllaw y fan y gorweddai llwch ei ddau gyfaill oedd gu iawn ganddo yn ei fywyd.

Bellach rhaid canu yn iach i'r pregethwr athrylithgar, y cydymaith carnaidd, y cristion pur, a ddywedai yn swynol am "y gwaed sy'n glanhâu," ac a fu fyw hefyd yn addas i efengyl Crist. Tra yn gofidio am na chawn weled ei wyneb ef mwy, teimlwn mai hynod briodol yw y ddau bennill o'i Alargan ar ol y Parch. E. Morgan, a adroddwyd mor effeithiol gan y Parch. D. Jones, Garegddu, ar lân ei fedd, i'w defnyddio wrth ddiweddu. Gallem ninnau, bellach, ofyn iddo yntau fel y gofynodd efe i'w gyfaill ymadawedig:

"A ddarfu iti wrth dafiu go'wg
Ar wag orseddau tŷ dy Dad,
Ddim dygwyddo gwel'd fy enw
Wedi ei ysgrifenu â gwae'd?
'R wy 'n gobeithio fod f' eisteddle
Yr agosaf un i ti,
Ac y cawn dragwyddol syllu
Ar y Gŵr fu ar Galfari."

Ac yn ei atebiad gallai yntau erbyn hyn ddywedyd,—

"Teyrnasu mewn bywyd mae pobpeth
Yn nghanol paradwys fy Nuw;
Ni welais er pan yr wyf yma
'R un ddeilen yn newid ei lliw:
Mae'r afon sy 'n rhedeg trwy 'r ddinas,
A'r pren sydd ar y ddau du.
Ynghyd a theg goron cyfiawnder—
Mae 'r cwbl yn fywyd i mi."

# Amrywiaethau.

### GWEDDI MAM.

Un nos Sadwrn aeth llanc ieuanc, deunaw mlwydd oed, gydag amryw o'i gymdeithion digrefydd, i wrando pregeth mewn tŷ annedd, gyda'r bwriad o aflonyddu y gynnulleidfa. Wedi myned i mewn i'r tŷ, efe a safodd o'r tu ol i'r drws; ac yn ebrwydd wele liaws mawr o bersonau yn tyru i mewn, gan lenwi nid yn unig y tŷ, ond y cyntedd neu'r porth iddo hefyd, ac felly yn ei gau ef mor llwyr yn y gongl o'r tu ol i'r drws, fel yr oedd yn anmhosibl iddo gyflawni ei fwriad drwg, nac ychwaith ddianc o'i garchariad. Ac yn y lle hwnw, cyrhaeddwyd ei galon gan air yr Arglwydd; ac yno am y tro cyntaf yn ei fywyd y gweddïodd efe yn ddidwyll ac edifeiriol, "O Dduw, bydd drugarog wrthyf, bechadur!" Bu yr argyhoeddiad hwnw yn ddychweliad iddo at yr Arglwydd; ac wedi ei alw at waith y weinidogaeth, efe a'i cynnygiodd ei hun i wasanaeth cenadol; ac ar ol treulio tua deng mlynedd ar y maes tramor, efe a ddychwelodd i wlad ei enedigaeth, lle y mae efe yn awr yn pregethu yr efengyl. Bu yn rhyfeddu yn fynych wrth y dylanwad nerthol a ddisgynodd mor ddisymwth arno pryd yr oedd efe yn garcharor o'r tu ol i'r drws yn y tŷ nad oedd ond annedd gyffredin; ond y rhyfeddod a ddarfu yn ei olwg pan y cafodd sicrhâd fod ei fam dduwiol wedi neillduo yr hwyr hono i weddïo mewn modd arbenig ar ei ran: ac ar yr awr a'r mynydau y dihunwyd ef am ei gyflwr, yr oedd hi mewn ymdrech calon â Duw am achub ei enaid! Yr Arglwydd a wrandawodd ei chri, a anrhydeddodd ei ffydd, ac a achubodd ei mab; a'r mab hwnw yw efe sydd yn ysgrifenu hyn o hanes. —*Y Parch. R. Young.*

### A OES OLEW YN EICH LAMP?

Gweinidog Protestanaidd o Canton de Vaud, Switzerland, a rydd yr hanes canlynol am droedigaeth boneddiges ad abyddus iddo. Yr oedd hi yn un o'r rhai oedd yn byw yn unig i'r byd hwn, heb fod ei chyflwr ysbrydol rhyngddi â Duw wedi ei hanesmwytho erioed. Un noswaith, pan yr oedd yn unig yn ei hystafell, darfu i'r lamp oedd yn ei goleuo ddiffodd yn ddisymwth. Hithau, er ei bod wrthi ei hun, a ddywedodd yn uchel, "Rhaid nad oes dim olew yn y lamp." Yr oedd y geiriau a lefarwyd yn yr unigrwydd fel hyn yn adseinio yn yr ystafell, ac yn swnio yn ei chlustiau, ond gydag ystyr newydd. Daeth i'w meddwl yn rymus Ddammeg y Deng Morwyn, a chofiodd am y Pum' Morwyn Ffôl na chymerasant olew yn eu llestri gyda'u lampau, ac felly eu lampau yn diffoddi ar ddyfodiad y priodfab. Ac o'r foment hono, yr oedd y geiriau yn y ddammeg ddydd a nos yn aros yn ei henaid, fel y saeth yn y carw sydd yn rhedeg ymaith oddiwrth yr heliwr. Ei dilyn yn barhâus yr oedd yr ystyriaeth, "Na, nid oes genyf yr olew yn fy lamp. Beth a ddaw o honof? Yr wyf heb ras Duw yn fy nghalon." Llanwyd hi âg ofn, a hi a ddechreuodd weddïo o ddifrif, ac ni chafodd rydd̂hâd a chysur nes iddi roddi ei hun iddo Ef, yr Hwn a ddaeth i geisio ac i gadw yr hyn a gollasid.

### PROFFESWYR DIDEIMLAD.

Dywedir fod zel a gwres crefyddol yn heintus; ond ofnwn fod llawer o broffeswyr yr oes yma wedi eu *vaccinatio* rhagddo. "Mi a ddaethum i fwrw tân ar y ddaear," ebe'r Gwaredwr: a theimlai foddhâd mawr am ei fod wedi dechre cynneu; eithr y mae'r difaterwch a'r marweidd-dra presennol fel pe buasai wedi bwrw *laudanum* ar y ddaear yn hytrach na thân. Nid heb sail y cwynir fod y ffordd i'r bywyd wedi ei *blockadio* â phroffeswyr meirw a dideimlad. Mae Duw wedi troi ceryg yn blant i Abraham, ond nid yw byth yn troi plant Abraham yn geryg. Dywed daearegwyr nad ydynt wedi darganfod ddim olion dynol wedi ymgreigio, er cymaint o rywogaethau creaduriaid a ddarganfyddwyd felly; ond pe troent oddiwrth y creigiau i'n haddoldai, ofnwn na fyddent yn hir heb eu darganfod yn eu corffolaeth.—*Y Parch. E. Stephen, Tanymarian.*

# Bryniau Kasia.

## DOSBARTH SHANGPOONG.

Rhanau o Lythyr oddiwrth y Parch. R. Evans, dyddiedig Shangpoong, Chwefror 7fed, 1883.

Oddeutu pymthegnos yn ol derbyniais nifer o gopïau o lythyr y Gymanfa Gyffredinol wedi eu cyfieithu i'r Khasi; ac yn yr Ysgol y Sabboth canlynol rhanasom hwynt i'r bobl. Darllenodd yr athraw y llythyr ar g'oedd; ceisiais roddi syniad iddynt am nifer y Cristionogion a gynnrychiolid gan y Gymanfa, a gwnaethum sylwadau ar y cynghorion oedd yn y llythyr, ac am y cariad yr oedd y Gymanfa yn ei ddangos tuag atynt. Yr oedd pawb yn ymddangos yn falch iawn o'r llythyr, ac yn ddiolchgar i'r Gymanfa. Mae yn sicr o fod yn nerth a chysur mawr i'r Cristionogion deimlo fod Methodistiaid Cymru yn cofio mor gynhes am danynt.

Mae yn dda genyf ddyweyd, ac nid wyf yn meddwl fy mod yn rhy obeithiol, fod y gwaith yn myned ymlaen yma yn barhaus. Yr oeddym, wythnos yn ol, yn derbyn dau ddyn—U Sah ac U Shai—i'r eglwys ar brawf; ac y mae yma rai eto yn cynnyg eu hunain. Y Sabboth diweddaf cawsom y fraint o gyfranogi o Swper yr Arglwydd, ac yr oeddym yn teimlo fod ychydig o eneiniad ar y gwasanaeth. Yr oedd saith o bersonau yn cyfranogi am y tro cyntaf, y rhai a fedyddiwyd ynghyd a'u plant; ac yr oeddynt oll yn gwneyd ugain o nifer.

Er pan ysgrifenais o'r blaen, y mae un teulu wedi symud i'n plith o Khleh Rangna, sef pentref tua milltir oddiyma. Mae teulu arall yn Nongkynriah, sef rhan o bentref Ralliang, wedi bwrw ymaith eu duwiau a phenderfynu bod yn Gristionogion. Maent yn deulu parchus; mae y gŵr yn frawd i'r *Dolloi* diweddaf yn Ralliang, ac y mae y wraig yn dyfod i mewn i eiddo y teulu, gan mai hi yw y ferch ieuengaf. Daeth y wraig yma yn gyntaf i ofyn am athraw, rhag i'w theulu hi gael dyweyd mai ei gŵr oedd yn ei hudo; ond nid oeddwn i ar gael ar y pryd, a daeth ei gŵr yma ymhen ychydig o ddyddiau drachefn. Maent yn ymddangos yn benderfynol iawn. Anfonais Tymmen Don yno i'w nerthu a'u cyfarwyddo; ac wrth adrodd yr hanes yn y cyfarfod eglwysig canlynol, dywedai na welodd efe ddim byd pryderthach ynglŷn â chrefydd er pan y mae yn Gristion. Dywedai fod y wraig yn zelog a phenderfynol iawn, a'i bod yn dyweyd, "Eich Duw chwi (y Cristionogion) gaiff fod yn Dduw i mi, a chwi gaiff fod y mhobl." Dywedai hefyd, "Nid ydym yn gwybod nemawr am grefydd Crist, na pha fodd i fyw yn addas iddi, ond yr ydym yn barod i wneyd pob peth fel y dywedwch chwi wrthym." Mae ganddynt bedwar o blant—yr hynaf tua deuddeg oed, a'r ieuengaf yn ychydig fisoedd. Mae ganddynt dŷ mawr; ac y maent wedi clirio un ystafell braf i gadw ysgol a chyfarfodydd eraill ynddi. Gan nad yw ond tua milldir o Ralliang, gall yr athraw fyned yno bob Sabboth; ac anfonwn ninnau rai oddiyma bob Sabboth i bregethu iddynt a chanu gyda hwy. Mae tua phum' milldir oddiyma yno. Gresyn na fyddai genyf arian i roddi athraw iddynt ar unwaith. Yr ydym yn cadw un llanc o Ralliang yma yn yr ysgol, er mwyn ei gymhwyso i fod yn athraw, ymhen ychydig fisoedd, yn ei bentref ei hun, ac i ni gael symud yr athraw sydd yno yn awr i Nongkynriah. Yr ydym yn methu gwybod pa beth i'w wneyd, oblegid ni ddylai rhai sydd wedi penderfynu bod yn Gristionogion fod heb athraw, ac nid yw yn iawn dileu ysgol Ralliang. Mae *Dolloi* Ralliang newydd brynu Testament a Llyfr Hymnau i'w nai. Dywedais o'r blaen fod tri (fe allai pedwar erbyn hyn) theulu yn Sohpai eisieu ysgol er's misoedd, ac wedi penderfynu bod yn Gristionogion. Mae perygl iddynt ddigaloni wrth weled nad ydym yn rhoddi dim help iddynt. Y maent agos i daith diwrnod o bob pentref Cristionogol, fel nad oes modd eu dysgu ond drwy anfon athraw iddynt. Mae teulu arall yn Shilliang Myntang yn awyddus i fod yn Gristionogion, ond iddynt gael athraw; ac y mae y *Dolloi* yn gyfeillgar iawn. Pan y dywedir fod fod pobl "yn awyddus i fod yn Gristionogion os cânt athraw," yr ystyr ydyw eu bod wedi dyfod i gredu mai crefydd Crist yw yr un wirioneddol, a bod yr un Khasi yn un gau; ond y mae arnynt eisieu eu dysgu am egwyddorion y grefydd newydd; a pha fodd y dysgir pobl bell ond trwy roddi athraw iddynt? Mae rhai pobl wedi bod yn gofyn i ni (hyny ydyw, i'r Cristionogion) a ydym mewn gwirionedd yn galw arnynt, ac yn ewyllysio iddynt fod yn Gristionogion pan ydym yn gwrthod anfon athrawon i'w dysgu. Cefais fy ngalw ddoe i Mothlong—pentref tua milldir neu ychwaneg oddiyma, i edrych am ddyn gwael. Aethum â'r athraw gyda mi; ac ar ol gorphen gyda'r dyn, siaradasom yn bwysig â'r bobl, gan egluro cariad Duw yn ei Fab, a'i ddigofaint ar y rhai sydd yn ei wrthod. Yr oedd yno rai yn gwrando yn astud, ac fel yn dymuno cael dianc rhag y llid a fydd. Mae y bobl yma yn credu y bydd pawb yn y byd arall fel y maent yma—y rhai sydd yn gweithio wrth y dydd yma, byddant yn gwneyd yr un peth yno—y rhai cyfoethog yma, bydd-

ant felly yno, &c.; ac yr oedd pobl Mothlong yn synu yn fawr glywed nad oedd yn y byd tragywyddol ond dau fath o le a dau fath o bobl. Yr oedd pobpeth oeddwn yn ddyweyd yn ymddangos fel stori newydd a dyddorol iddynt, ac weithiau yn peri iddynt arswydo. Mae llawer o'r bobl yma yn credu fod crefydd yr Arglwydd Iesu yn un wirioneddol, am eu bod yn gweled y Cristionogion yn cymeryd cymaint o drafferth i'w dwyn at y bobl. Clywais y Cristionogion yma yn dyweyd fod rhai yn dyweyd fod eu crefydd hwy yn gadael iddynt wneyd fel y mynont, ond fod y grefydd newydd, neu grefydd y *school*, yn gwahardd drygioni ac yn dysgu daioni i'r bobl. Gwyn fyd na chredai pawb yr un fath am dani, a chredu nes ei derbyn.

Nis gallwn ni na'r Cristionogion yma byth ddadgan y diolchgarwch ydym yn deimlo i Fethodistiaid anwyl Môn am eu casgliad o dros *driugain punt* tuag at ein capel, ac i Mr. Lewis am ddangos ein sefyllfa i'r wlad. Yr oeddym mewn cyfyngder mawr, ond y mae casgliad Cyfarfod Misol Môn wedi gosod ein traed megys ar graig. Yr ydym yn dysgwyl gweithwyr yma bob dydd i ddechreu adeiladu. Diolch yn fawr hefyd i Mr. a Mrs. Jones o Sir Fôn am eu rhodd o gini.

---

## Bryniau Khasia.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, 22AIN O CHWEFROR, 1883.

Nos Lun, y 12fed o'r mis hwn, derbyniwyd i'r eglwys ar brawf deulu o bentref Mawprydang, yn cynnwys mam a dwy ferch, un mab, a mab yn nghyfraith, a phump o'i hwyrion, oll yn ddeg o eneidiau. Yr oedd yn llawenydd mawr genym oll weled y teulu hwn yn troi at yr Arglwydd Iesu am fywyd a maddeuant, yn rhoi i fyny y demoniaid a'r ofergoelion oll, y rhai yr oedd eu tadau a'u teidiau wedi bod yn eu haddoli er's llawer oes, ac yn aberthu iddynt er ennill eu ffafr a'u nawdd drostynt. Ond dyma oleuni o'r nef yn dechreu tywynu i galonau y rhai hyn, a'r Ysbryd Glân yn eu harwain at yr Hwn sydd yn cael ei gyhoeddi yn Iachawdwr i holl gyrau y ddaear. Maent yn byw tua deng milldir o Shillong, a hwy yw y rhai cyntaf yn y rhan hono o'r wlad i gofleidio Cristionogaeth; ond yr wyf yn credu fod tyrfa i'w dilyn o'r parth hwn. Mae y fam, gallwn dybio, oddeutu 55 mlwydd oed, yn wraig gref ac iach, ac yn fwy deallus na'r nifer mwyaf o wragedd y Bryniau. Dywedai nad ydoedd yn meddwl am yr un fantais yn y byd hwn wrth ddyfod yn Gristion, ond ei bod wedi cael goleuni newydd a rhyfedd i'w meddwl, a'i bod yn dyfod gyda'i phlant a'i hwyrion er mwyn cael cadw ei henaid gan Iesu Grist—ei fod ef yn Fab Duw ac yn Iachawdwr i bechaduriaid tlodion a thywyll fel hwy—eu bod oll yn teimlo fod ganddynt lawer o bechodau, ond eu bod wedi clywed fod yr Iesu hwn yn caru pechaduriaid, ac wedi marw drostynt ar Galfaria, a'i fod yn barod i'w derbyn a'u glanhâu, a byw gyda hwynt—iddynt fod yn y tywyllwch ar hyd eu hoes, ac fod y tywyllwch hwn yn pwyso yn drwm arnynt, ond fod goleuni yn dechreu dyfod i mewn yn awr, a'u bod yn dymuno yn fawr am i'r holl gyfeillion eu helpu a'u dysgu yn y ffordd. A oes yna neb gartref yn caru Iesu Grist gymaint nes rhoddi iddo £20, er mwyn i mi allu anfon athraw am flwyddyn neu ddwy i bentref y teulu hwn, er eu dysgu i ddarllen gair Duw a'u hyfforddi yn ffordd yr iachawdwriaeth? Pan fydd un neu ddau o'r cyfeillion hyn yn Shillong yn gallu myned yno unwaith neu ddwy yn y mis, byddant yn cael cynnulleidfa dda i wrando, ond nis gallant aros yno ond ychydig oriau, gan y bydd ganddynt rhwng myned a dychwelyd ugain milldir i gerdded. O rhoddwch help llaw pan y mae drysau yn agor.

Nos Fercher, Chwefror 14eg, derbyniwyd wyth o bersonau i'r eglwys o bentref Myllim; un yn ŵr yr oedd ei wraig yn yr eglwys yn flaenorol, ac un arall yn wraig yr oedd ei gŵr yn yr eglwys yn flaenorol; y trydydd yn llefnyn, a'r lleill yn blant, yn dyfod gyda'u rhieni i'r eglwys. Mae yr achos yn parhâu i gynnyddu yn dda yn Myllim. Mae yno yn awr amryw deuluoedd cyfain neu agos felly yn Gristionogion, yr hyn sydd yn rhoddi sefydlogrwydd i'r achos bychan a newydd yn y pentref, ac ymddengys yn bresennol mai cynnyddu ac ymsefydlu a wna yr achos yma. Mae rhai o brif ddynion y pentref wedi cofleidio Cristionogaeth, ac eraill yn ffafriol. Mae yn wir fod yma amryw yn chwerwi wrth hyn ac yn gosod rhwystrau ar y ffordd, ond yn ei flaen mae yn myned, oblegid achos i lwyddo yw achos yr Arglwydd Iesu. Mae yno gynnulleidfa dda ar y Sabboth, oddeutu 50 agos bob amser; ac yn gyffredin bydd rhywun oddiyma yn myned yno i helpu cynnal y moddion, er fod ganddynt naw milldir i fyned a naw milldir i ddychwelyd adref yn yr hwyr.

Derbyniwyd dau deulu i'r eglwys yn mhentref Wmsaw, yr ail wythnos o'r mis hwn; ond nid oes genyf hamdden yn bresennol i ddyweyd fawr am y cyfeillion hyn.

Bore Mawrth, Chwefror 13eg, cychwynodd Mrs. Jones a minnau am daith o naw

diwrnod tua Kyndiar, Nohwet, Mawlyn nong, &c., i ymweled â'r c·feillion ac i bregethu efengyl y deyrnas ymhob lle y caem bobl yn barod i wrando; a dychwelasom yn ol yn hwyr nos Fercher, Chwefror 22ain. Yr oeddem yn brysio gan fod cyfarfod yr Henaduriaeth i fod yma yn Shillong y mis nesaf, a rhaid gwneyd parotöadau ar gyfer hwnw.

Y Cristion sydd wedi cario y dydd i fod yn frenin yn Mynnar; U Bang Sîm sydd wedi ei ddewis gan y bobl i fod yn frenin Pum' mlynedd yn ol nid oedd y bobl hyn yn gwybod dim am Gristionogaeth nac am Iesu Grist; ond yn awr dyma frenin Cristionogol yn y lle. Yr wyf yn gobeithio yr aiff pethau ymlaen yn gysurus a thawel yn Mynnar a'r pentrefi o gwmpas, ac na bydd yno gynhwrf na helynt ar ol hyn.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Oddiwrth Gangen-Gymdeithas Genadol y Merched, Capel Bryntirion, Dosbarth Pontypridd, trwy law Miss Williams, Maendy Farm | 6 | 5 | 9 |
| O Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Wrexham | 20 | 17 | 9 |
| O Seacombe (ychwanegol) | 2 | 2 | 0 |
| O Rockferry | 10 | 6 | 6 |
| O Cefnbach, Sir Fôn, casglwyd gan y Plant, trwy law Miss P. N. Jones | 0 | 15 | 0 |
| O Abergavenny, casglwyd gan y Plant | 2 | 17 | 1 |
| O Llanelly, eto (Capel Saesoneg) | 1 | 4 | 3 |
| O Farnworth Street, Liverpool, eto | 7 | 17 | 8 |
| O Llanrwst (casglwyd gan chwech o blant) | 0 | 14 | 3 |
| O Walton Park, Liverpool, eto | 1 | 11 | 8 |
| O Waunfawr, Blwch Cenadol, eto | 6 | 5 | 0 |
| O Machynlleth, Capel Saesoneg, eto | 1 | 17 | 0 |
| O Cwmpark, Dwyrain Morganwg,—Blychau Cenadol y Plant | 0 | 11 | 6 |
| Blwch Cenadol Master Davies, Llwynderw, Llandinam | 2 | 17 | 9 |
| Tocyn Cenadol Jane Thomas, Hen Shop, Gaerwen | 0 | 6 | 6 |
| O Carneddi, Arfon, casglwyd gan y Plant | 2 | 12 | 11 |
| Oddiwrth O. Lewis, Joiner, Niwbwrch, Sir Fôn, swm a ennillwyd trwy ddosbarthu y cyhoeddiad Cenadol, NEWYDDION DA | 0 | 6 | 0 |
| O Penybont, Sir Faesyfed | 8 | 1 | 6 |
| O Ddinbych, Capel Saesoneg | 4 | 7 | 9 |
| Rhan Isaf Sir Drefaldwyn, trwy law Mr. John Jehu, Llanfair | 93 | 0 | 0 |
| Rhan Uchaf Sir Drefaldwyn, trwy law Mr. R. Jones, Newtown | 40 | 0 | 0 |
| Gorllewin Morganwg, trwy law Mr. Griffith, Taibach | 42 | 6 | 11 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. W. Charles, Aberdare | 14 | 2 | 2 |
| Oddiwrth Mr. W. Jones, Deri Fawr, Pare, Sir Fôn, i weddwon ac amddifaid ar Fryniau Khasia | 0 | 10 | 0 |
| Oddiwrth Mrs. Jones, eto, at ddillad i'r plant tlodion | 0 | 10 | 0 |
| Oddiwrth Miss Dorothy Jones, eto, tuag at roddi Llyfrau Hymnau i'r plant | 0 | 5 | 0 |

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Oddiwrth Mr. E. P. Jones, Rhyl, tuag at y gwaith Cenadol yn Jiwai | 5 | 0 | 0 |
| D. A. A. | 250 | 0 | 0 |
| Oddiwrth Mrs. Evans, Cwmhenog, Llanwrtyd, i'w hanfon i'r Parch. T. Jerman Jones, tuag at ryw amcan arbenig mewn cysylltiad â'r gwaith | 5 | 0 | 0 |
| Aberfan, Merthyr Tydfil, casgliad y Plant a'r Eglwys | 2 | 10 | 0 |
| Runcorn (Cymraeg) | 0 | 8 | 3 |
| O Penffordd, Sir Benfro, casglwyd gan chwech o blant | 2 | 16 | 0 |
| Cynnwys Blwch Cenadol Ellen a Robert Hughes, Graianfa, Llanelwy | 0 | 8 | 0 |
| Cangen-Gymdeithas Genadol y Chwiorydd, Rock Ferry | 5 | 0 | 4 |
| Bethany, Pontnewynydd | 2 | 5 | 0 |
| Blwch Cenadol Miss Maggie Morgan, Gwern House, Pontnewynydd | 0 | 18 | 0 |
| Tuag at gynhaliaeth ac addysg U Khor, y bachgen cloff:— | | | |
| Mrs. C. Simpson, Thomas Street, Caergybi | 1 | 0 | 0 |
| "Rachell," Chatham Street, trwy law y Parch. O. Jones, B.A. | 1 | 0 | 0 |
| "Friend of the Cause," Abergele | 5 | 0 | 0 |
| Mrs. Owen, 28, Windsor Street, Liverpool, trwy law y Parch. Dr. Thomas | 0 | 10 | 0 |
| Mr. W Roberts, Railway Guard, Caergybi | 0 | 10 | 0 |

(Rhoddir manylion, enwau y plant a gasglasant 2s. 6c. neu ragor, &c., yn yr Adroddiad Blynyddol.)

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Casgliad Sabboth Cenadol y Plant:— | | | |
| Ysgoldy Smithdown Lane, Liverpool | 0 | 13 | 10 |
| Penucheldre, Sir Fôn | 0 | 7 | 0 |
| Tre-Williams, Pontypridd | 0 | 8 | 0 |
| New Hall, Menai Bridge (Capel Saisoneg) | 0 | 10 | 0 |
| Barrow-in-Furness | 0 | 6 | 2 |
| Aberfan, Merthyr Tydfil | 1 | 5 | 4 |
| Capel Smyrna, Glandŵr, Morganwg | 0 | 2 | 7 |
| Tabernacl, Ceinewydd | 0 | 18 | 7 |
| Earlstown | 0 | 2 | 8 |
| Bethany, Pontnewynydd | 0 | 10 | 0 |
| Cwmpark, Dwyrain Morganwg | 4 | 3 | 3 |
| Menai Bridge (Capel Cymraeg) | 1 | 14 | [illegible] |
| Brithdir, Sir Drefaldwyn, trwy law Sarah A. Hughes a Catherine A. Jones | 0 | 8 | 6 |
| Seacombe | 0 | 8 | 4 |

---

Dymunir ar i restrau y tanysgrifwyr y dymunir iddynt ymddangos yn yr Adroddiad Cyffredinol gael eu hanfon i'r Ysgrifenydd cyn Ebrill 10fed.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, Esq., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

D.S. Gwneler Post Office Orders yn daladwy yn LIVERPOOL ac NID yn Birkenhead.

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

#Y DRYSORFA.

RHIF. 631.] MAI, 1883. [LLYFR LIII.

## CARIAD.

### SYLWADAU AR 1 CORINTHIAID XIII.

GAN Y PARCH. HUGH JONES, LIVERPOOL.

YN ei esboniad ar y rhan hon, dywed y Deon Stanley, "Ar bob ochr i'r bennod hon y mae twrf ymresymiad a gwrthdystiad yn parhâu i derfysgu; ond oddifewn iddi y mae yr oll yn dawelwch. . . . . Gallwn ddychymygu pa fodd yr oedd yn rhaid i ysgrifenydd yr epistol aros, er mwyn edrych i fyny i wyneb ei feistr, ar gyfnewidiad sydyn arddull ei ymadroddion, a'r modd y gwelai ei wynebpryd yn cael ei oleuo i fyny fel pe buasai wyneb angel, fel yr oedd y weledigaeth o ddwyfol berffeithrwydd yn myned heibio iddo."

Y mae yn amlwg mai wrth gariad yn y bennod hon yr ydym i olygu y gras o gariad—gras ag y buasai yn dda i'r eglwys yn Corinth fod yn gyfoethocach ynddo. Yr oedd ysbryd gwahanol iawn i hyn yn ffynu ynddi, sef ysbryd cynhenllyd. Cawn fod yr apostol yn cwyno o herwydd hyn yn nechre ei lythyr: "Canys fe ddywedwyd i ni am danoch chwi, fy mrodyr, gan y rhai sydd o dŷ Chloë, fod cynhenau yn eich plith." Yr oedd yr ysbryd hwn â thuedd ynddo i droi pob peth i fod yn asgwrn cynhen. Ymrysonent â'u gilydd o berthynas i weinidogion y gair. Dywedai un ei fod yn eiddo Paul, un arall ei fod yn eiddo Apolos, un arall ei fod yn eiddo Cephas, ac arall, ei fod yn eiddo Crist. Cymerai y rhai oedd yn y dosbarth olaf hwn arnynt fod yn dduwiolach na'r lleill. Ond dywedent eu bod yn eiddo Crist mewn tymher afrywiog, ac mewn dibrisdod, mae yn debyg, o'r naill weinidog fel y llall.

Peth arall ag oedd yn destun cynhen yn eu plith oedd y doniau oedd yn yr eglwys. Ac yr oedd ynddi ddoniau amryw ac anghyffredin, a'r rhai hyny, y mae yn ymddangos, yn cael eu meddiannu gan lïaws o'r aelodau. Ond yr oedd y doniau hyn yn achlysur iddynt goledd teimladau drwg at eu gilydd. Y ddawn a fawrygid fwyaf ganddynt ydoedd y ddawn i lefaru â thafodau dyeithr. Nid am ei bod y fwyaf adeiladol. Nid ydoedd hi felly mewn un modd. Cyn y gallasai hi fod o unrhyw fuddioldeb i'r gwrandäwyr, yr oedd yn rhaid cael dawn arall gyda hi, sef cyfieithiad tafodau. Y ddawn werthfawrocaf, medd Paul, oedd yr un i brophwydo—i lefaru ac egluro i'r gwrandäwyr wirioneddau yr efengyl. Er hyny, ar y tafodau dyeithr yr oedd y bri mwyaf yn cael ei roddi gan lïaws yn yr eglwys hon, er eu bod yn annealladwy, ac, y mae yn debyg, *am* eu bod yn annealladwy. Gall fod aml un yn gyffelyb i'r rhai hyn eto. Pa fodd bynag, yr oedd amrywiaeth doniau yn peri anghydfod yn eu plith. Annogai yr apostol hwynt i ddeisyfu y doniau goreu, sef y rhai a fyddent yn fwyaf gwasanaethgar i eraill, ac nid y rhai a osodent fwyaf o hynodrwydd ar y perchenog. Dengys iddynt hefyd ffordd dra rhagorol i wneyd hyny. "Eithr deisyfwch y doniau goreu, ac eto yr wyf yn dangos i chwi ffordd dra rhagorol." A'r ffordd hono yw yr un a osodir allan yn y bennod sydd genym dan sylw, sef ffordd cariad. Yr oedd efe am i'r

holl ddoniau fod o dan lywodraethiad cariad.

Molawd i gariad ydyw y bennod hon drwyddi. Dangosir rhagoroldeb cariad gan yr apostol, yn y lle cyntaf, trwy ddyweyd fod pob peth yn ddiwerth hebddo. Gosodid bri mawr yn yr eglwys, fel y dywedwyd, ar lefaru â thafodau. Ond y mae yr ysgrifenydd sanctaidd yn dyweyd pe buasai ef, gan olygu wrth hyny unrhyw un, yn llefaru â thafodau dynion ac angylion—yn holl ieithoedd nef a daear, ac eto heb gariad, na buasai ond fel efydd yn seinio neu symbal yn tincian—ei holl drwst yn swn diflas a diwerth. A phe buasai ganddo brophwydoliaeth, ac yn rhinwedd y ddawn hon wybod o hono y dirgelion oll—dirgelion cynghor tragywyddol Duw—a phob gwybodaeth, a phe buasai ganddo yr holl ffydd fel ag i allu symud mynyddoedd, ac heb gariad ganddo, na buasai yn ddim. Dyma ddwy ddawn arbenig: y ddawn brophwydol a'r ddawn wyrthiol, a'r rhai hyny hefyd ar eu goreu; eto, heb gariad yr oedd y perchenog yn ddim—yn ddim mewn ystyr foesol, yn ddim yn nghyfrif Duw. Nid oedd un rhinwedd yn y doniau hyn ynddynt eu hunain. Yr oedd eu gwerth yn dibynu ar y defnyddiad a wneid o honynt. Nis gallesid eu defnyddio yn iawn heb gariad. Nid yw y *cipher* ynddo ei hun yn ddim. Ychwaneger y naill at y llall nes gwneyd rhes hirfaith o honynt—dim ydynt oll yn y diwedd. Ond rhagflaener hwy â rhifnod cyflawn, gesyd hwnw werth ar y cwbl. Felly cariad oedd yn gosod gwerth ar y doniau. Hebddo, nid oedd y dyn er ei holl ddoniau yn ddim. Y mae yr un peth yn wir o hyd. Y mae galluoedd meddyliol cryfion, gwybodaeth ëang, dysgeidiaeth uchel, yn cael eu hedmygu yn fawr yn y dyddiau hyn, ac yn deilwng felly; ond y mae gronyn o gariad yn annhraethol werthfawrocach na'r oll. Hebddo nid yw y dyn yn ddim.

Dywed yr apostol ymhellach, pe buasai yn porthi y tlodion â'i holl ddâ—yn rhanu ei eiddo yn dameidiau i'r anghenog, nes i'r dogn olaf fyned oddiwrtho; a phe rhoddasai ei gorff i'w losgi fel merthyr dros achos crefydd, ac heb gariad ganddo, na buasai hyny yn ddim llesâd iddo. Rhoddir ar ddeall yma, y gall un gael ei ysgogi i actau amlwg o haelioni a hunanaberthiad mewn ymddangosiad gan hunangais. Yr hyn sydd yn cyfansoddi moesoldeb gweithred yw ei pherthynas âg egwyddor yn y galon. Yr hyn sydd yn gwneyd gweithred yn dda a chymeradwy yn ngolwg Duw ydyw, ei bod yn codi oddiar gariad. "Cyflawnder y gyfraith yw cariad." Hyn sydd yn llenwi ei hystyr. Dywedir fod ysgerbwd ci yn y pellder yn arogli fel mwsg, ond yn ei ymyl y mae ei ddrygsawr yn annyoddefol. Gall gweithredoedd dynion fod yn perarogli yn y byd; eithr y mae Duw yn medru myned yn nês at y dyn na'i weithredoedd oddiallan—yn medru myned at yr egwyddor oddiar ba un y mae y gweithredoedd hyn yn tarddu; a gall hono fod yn ddrygsawr yn ei ffroenau ef. "Nid fel yr edrych dyn yr edrych Duw, canys dyn a edrych ar y golygiad allanol, "ond Duw a edrych ar y galon." Yr ydym ni yn barnu y dyn oddiwrth y weithred, ond y mae Duw yn barnu y weithred oddiwrth y dyn, ac y mae pob peth a fêdd yn ddiwerth yn nghyfrif Duw heb gariad.

Yn y lle nesaf y mae yr apostol yn dangos rhagoroldeb cariad trwy nodi ei briodoliaethau; ac y mae'r portrëad a dỳn efe o hono yn un tra hawddgar: "Y mae cariad yn hirymaros, yn gymwynasgar; cariad nid yw yn cenfigenu; nid yw cariad yn ymffrostio, nid yw yn ymchwyddo." Y mae ymchwydd ysbryd yn bod, yn gystal a chŵydd corfforol; ac i'r rhai chwyddedig o ysbryd anhawdd ydyw cael digon o le. Ond y mae cariad yn cadw y chŵydd hwn i lawr. "Nid yw yn gwneuthur yn anweddaidd." Y mae cariad yn coethi y meddwl, ac yn boneddigeiddio y dyn drwyddo. Y mae yn ddoethineb, ac felly yn cadw ei berchen, nid yn unig rhag gwneuthur yr hyn sydd yn bechadurus, ond hefyd rhag gwneuthur ei hun yn anweddaidd. Gwelwyd cyn hyn dduwioldeb dwfn yn cyfarwyddo dynion o synwyr lled fychan i arfer rhyw weddeidd-dra dymunol mewn gwahânol gysylltiadau, pan y byddai dynion cryfach eu synwyr o lawer, eithr heb fod mor dduwiol, yn dangos diffyg mawr yn hyn. "Nid yw yn ceisio yr eiddo ei hun." Y mae hunangais a chariad yn gwbl groes i'w gilydd. Y dyn sydd yn ceisio ei foddhâd, ei fûdd, a'i ogoniant ei hun, y mae yn ddyeithr i arglwyddiaeth cariad

"Ni chythruddir." Nid yw yr un sydd dan ei lywodraeth yn un llidiog a chwerw. "Ni feddwl ddrwg." Nid yw yn ddrwgdybus. Llawer o ddrwgdybiaeth sydd yn bod. Gall nad yw y drwg a dybir ei fod ddim yn bod. Rhaid i'r dyn gael ei feddwl er hyny; ac wedi ei feddwl ei ddyweyd. Anghariad sydd yna yn taflu ei gysgod tywyll ei hun ar eraill sydd o'i amgylch. Y mae y rhai sydd â'r clwyf melyn *(jaundice)* arnynt, yn gweled pob peth yn felyn dan liw eu clefyd eu hunain. Y drwg sydd yn nghalon y dyn ei hun sydd yn peri iddo feddwl yn ddrwg am eraill. Cariad, o'r ochr arall, ni feddwl ddrwg. Er hyny na feddylied neb ei fod yn gwneyd ei berchen yn ddifarn, ac yn ddiofal pa fodd yr êl pethau ymlaen yn y byd. Nid meddalwch a natur dda ydyw y cariad hwn. "Nid yw lawen am anghyfiawnder, ond cydlawenhâu y mae â'r gwirionedd." Y mae ymddygiadau anghyson â'r gwirionedd yn peri iddo dristwch, tra y mae gweled arwyddion yn mucheddau dynion o ddylanwad y gwirionedd arnynt yn peri iddo lawenydd. "Y mae yn dyoddef pob dim." Y mae dyoddef yn elfen hanfodol ynddo. Pob dim sydd i'w ddyoddef, y mae yn ei ddyoddef. Pan y mae diffyg mewn dyoddef, y mae diffyg mewn cariad. "Y mae yn credu pob dim," hyny yw, pob da. "Yn gobeithio pob dim;" pob da—yn gobeithio y goreu. Ac wedi iddo fethu gwneyd hyn oll, y mae "yn ymaros â phob dim." O rinwedd dymunol, hawddgar! Gresyn na fyddai mwy o hono yn ein mysg.

Yn y trydydd lle, y mae rhagoroldeb cariad yn cael ei osod allan gan yr apostol trwy nodi ei barhâd,—"Cariad byth ni chwymp ymaith." Nid felly yr ydoedd gyda golwg ar brophwydoliaethau, a thafodau, a gwybodaeth. Eithr pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant; ai tafodau, hwy a beidiant; ai gwybodaeth, hi a ddiflana;" a'r rheswm am hyny yw, "canys o ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn prophwydo; eithr pan ddelo yr hyn sydd berffaith, yna yr hyn sydd o ran a ddileir." Yn y sefyllfa ddyfodol, byddai y goleuni mor gryf, fel y byddai y wybodaeth ëangaf o wirioneddau crefydd, a'r galluoedd dyscleiriaf i'w gosod allan ger bron eraill, yn diflanu, yn debyg fel y mae llewyrch y ser yn diflanu yn ngoleu dydd. Megys bechgyn y mae y saint perffeithiaf yma. Felly yr edrychai Paul arno ei hun: "Pan oeddwn fachgen, fel bachgen y llefarwn, fel bachgen y deallwn, fel bachgen y meddyliwn; ond pan aethum yn ŵr, mi a rois heibio bethau bachgenaidd." Yma y mae yr apostol yn taflu ei hun mewn dychymyg i'r sefyllfa ddyfodol, ac oddiyno yn edrych yn ol ar ei sefyllfa yn y byd hwn, pan y canfyddai nad oedd ei ymdrechion penaf onid pethau bachgenaidd. Nid ydyw gorchestion athrylith onid ymegnïon bechgyn. "Canys gweled yr ydym yr awrhon trwy ddrych mewn dammeg, ond yna wyneb yn wyneb." Yn y drych, nid y pethau eu hunain sydd yn cael eu gweled, ond yr adlewyrchiad o honynt, er eu bod yn ymddangos megys pe byddent y tu ol i'r drych, a'r edrychydd yn eu gweled drwyddo. Gweled trwy ddrych y mae y saint yn y byd hwn. Drych ydyw y Bibl, a drych cywir iawn hefyd. Gwelsom cyn hyn y llyn llonydd fel drych, yn adlewychu y llechweddau amgylchynol, y meusydd, y coed, y tai, ïe, a'r ffurfafen uwch ben, yn dryfrith o fydoedd dysglaer. Yn debyg i hyn y mae'r saint yn gweled y byd tragywyddol—y nefoedd—y ddinas, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw—tŷ eu Tad—y trigfanau nefol, yn y drych; ond beth yw hyny o'i gymharu â gweled wyneb yn wyneb? Y maent yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a mawr yw y mwynhâd sydd i'w gael o hyny; ond yr ochr draw cânt ei weled wyneb yn wyneb. "Edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder; digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Gweled trwy ddrych mewn *dammeg* y maent; meddyliau mawrion Duw yn cael eu gwisgo yn nghyffelybiaethau anmherffaith y ddaear sydd yn ymddangos o'i flaen. Mawr ydyw yr ymdrech sydd wedi bod i ddeall y ddammeg, ac y mae ffrwyth yr ymdrech yn gyfrolau ar gyfrolau; ond rhaid aros nes myned i'r ochr draw cyn y ceir deongliad cyflawn arni. Adwaen y maent yr awrhon o ran, ond yna yr adnabyddant megys eu hadwaenir,—hyny yw, gan Dduw. Bydd eu hadnabyddiaeth o Dduw yn uniongyrchol a pherffaith. Trysor anmhrisiadwy yw y Bibl. Nis gallai y cristion wneyd yma heb ei Fibl. Y brofedigaeth fwyaf iddo fyddai myned â hwn

oddiarno. Yn hwn y mae yn cael ei ddwyn i gymundeb â'r gwirioneddau a'r gwrthddrychau ag y mae ei enaid yn eu hoffi gymaint. Yn fynych fynych y mae Duw mewn ateoiad i'w weddi, yn agor ei lygaid fel ag i weled pethau rhyfedd ynddo. Ond pan ddelo yr hyn sydd berffaith, bydd i'r hyn sydd o ran gael ei ddileu. Yn yr ystâd berffaith hon ni bydd anghen am Fibl. Wedi myned i weled wyneb yn wyneb, ni bydd raid wrth ddrych mwy. Ond yn yr ystâd oruchel hon sydd gymaint uwchlaw yr un ddaearol, pan y bydd pethau a fuasent unwaith yn tynu sylw mawr wedi diflanu, ac hyd yn nôd llyfr y llyfrau wedi myned yn ddianghenrhaid—yn yr ystâd hon, gwybydder, bydd *cariad* mewn bod ac mewn bri. "Cariad byth ni chwymp ymaith."

Yn y lle olaf, y mae yr apostol yn dangos rhagoroldeb cariad trwy ei gymharu â'r grasau eraill: ffydd a gobaith. "Yr awrhon y mae yn aros ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn; a'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad." Wedi i brophwydoliaethau ballu, wedi i dafodau beidio, ac wedi i wybodaeth ddiflanu, y mae yn aros wedi hyny ffydd, gobaith, cariad, y tri hyn; a'r fath ardderchog dri ydynt! y maent yn annhraethol ragori ar holl drioedd ein byd ni. Myn rhai fod *yr awrhon* yn golygu yr amser presennol mewn cyferbyniad i'r dyfodol, pan na bydd onid cariad yn unig yn aros—"ffydd wedi troi yn olwg, a gobaith eiddil yn fwynhâd." Barna eraill mai cyfeirio at ei sylwadau blaenorol am yr ystâd berffaith y mae yr apostol, gan ddywedyd, 'Yr *awrhon*—yn y sefyllfa yma ar bethau, wedi dyfod yr hyn sydd berffaith a dileu yr hyn sydd o ran, y mae yn aros eto, ffydd, gobaith, cariad—y tri hyn.' Gellir dywedyd cymaint a hyn, pa fodd bynag, er i ffydd gael ei throi yn olwg, a gobaith yn fwynhâd, bydd y saint yn parhâu byth i roddi eu hyder ar Dduw yn Nghrist, ac i gredu gwirioneddau anamgyffredadwy; a gwaith ffydd ydyw hyny. Hefyd, yn nghanol mwynhâd perffaith, byddant yn gallu edrych ymlaen, mewn dysgwyliad diammheuol am barhâd o'r un mwynhâd, ac o ddadguddiadau cynnyddol o Dduw a rhyfeddodau ei gariad a'i ddoethineb; a gwaith gobaith ydyw hyny. Ond po fwyaf a ddyrchefir ar ffydd a gobaith, mwyaf yn y byd o fri a roddir ar gariad, oblegid "y mwyaf o'r rhai hyn yw cariad." Ceir crybwyllion mynych am y grasau hyn yn y gwahanol epistolau—yn enwedig yn yr eiddo Paul. Ac ni a'u cawn ganddo ef droion yn nghwmni eu gilydd. "Eithr nyni gan ein bod o'r dydd, byddwn sobr, wedi ymwisgo â dwyfroneg ffydd a chariad, ac â gobaith iachawdwriaeth yn lle helm" (1 Thes v. 8). "Gan gofio yn ddibaid waith eich ffydd chwi, a llafur eich cariad, ac ymaros eich gobaith yn ein Harglwydd Iesu Grist" (1 Thes. i. 3). "Er pan glywsom am eich ffydd yn Nghrist Iesu, ac am y cariad sydd genych tuag at yr holl saint, er mwyn y gobaith a roddwyd i'w gadw i chwi yn y nefoedd" (Col. i. 4, 5). Yr un modd y mae yn y geiriau dan sylw. Ond, y waith hon, o herwydd amgylchiadau neillduol yr eglwys yn Corinth—y cynhenau oedd yn eu plith, gwelai yr apostol yn briodol nodi rhagoriaeth cariad ar y ddau ras ardderchog eraill. "A'r mwyaf o'r rhai hyn yw cariad." Paham y mae yn fwyaf? Oblegid, yn un peth, ac hwyrach yn benaf, ei fod yn gwneuthur ei berchen yn debyg i Dduw. Nid yw yn briodol dyweyd fod Duw yn credu nac yn gobeithio; ond Duw, cariad yw. Yr oedd y Personau Dwyfol yn caru eu gilydd erioed. Cariad a barodd i Dduw dori allan i greu, ac i gyfranu trysorau ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni yn y greadigaeth. "Felly y carodd Duw y byd, fel y rhoddodd efe ei Uniganedig Fab, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Caru yr oedd Duw erioed. Caru y mae efe bob amser. Ni wnaeth ac ni wna efe ddim yn groes i gariad. "Duw, cariad yw." Felly, pwy bynag sydd yn feddiannol ar gariad, y mae delw Duw ar hwnw.

Oddiwrth yr hyn a ddywedir gan yr apostol yn y bennod hon am gariad, gwelir yn laf, ei fod o annhraethol bwys —nad oes dim o werth hebddo. Er i ddyn feddu doniau dysglaer, gwybodaeth eang, haelioni mawr, zel merthyr, eto os heb gariad, nid yw ddim. "Yr hwn nid yw yn caru nid adnabu Dduw." Gall ei fod yn gwybod llawer am dano, am ei weithredoedd, ac am ei drefn ogoneddus i gadw pechaduriaid, ond "nid adnabu Dduw; oblegid, Duw, cariad yw." Gochelwn gan hyny yr arwyddion hyny o absennoldeb cariad

a nodir yn y bennod hon: cenfigen, ymffrost, ymchwydd, anweddusrwydd, hunangais, chwerwedd, drwgdybiaeth, ynghyd a gorfoledd o herwydd cwympiadau rhai eraill; oblegid, os byddwn heb gariad, ni a fyddwn heb grefydd.

Yn 2il, Gwelir fod cariad yr efengyl, pa le bynag y byddo, nid yn unig yn gariad at Dduw, ond hefyd yn gariad at ddynion. Yr un elfen bur ydyw yn rhedeg at wahanol wrthddrychau. Yr un ydyw y môr mawr llydan ymha wlad ac ymha borthladd bynag y cyfarfyddwn âg ef; ac y mae yn cofleidio y creigiau mwyaf ysgythrog yn gystal â'r glènydd mwyaf prydferth. Fel hyn y mae cariad. Nid yn unig y mae yn rhedeg at Dduw, y Bôd anfeidrol hawddgar, ond hefyd at ddynion, ac at ddynion anhawddgar iawn—rhai ag y mae pechod wedi eu gwneuthur felly. Yn hyn y mae yn debyg i gariad Duw; oblegid nid caru ei Fab yn unig y mae efe, yr hwn sydd yn ddysgleirdeb ei ogoniant ac yn wir lun ei Berson, ond parodd i'w gariad redeg hefyd arnom ni bechaduriaid; ac eglurodd y cariad hwnw trwy anfon ei Uniganedig Fab i'r byd i fod yn Iawn dros ein pechodau ni, fel y byddem byw trwyddo ef. Yn wir nid yw y cariad y mae yr apostol yn sôn am dano yma onid cyfranogiad o gariad Duw. Anian Duw ydyw yn enaid dyn. "Yr hwn sydd yn caru, o Dduw y ganed ef." Pa le bynag gan hyny y mae cariad at Dduw, y mae cariad at ddynion hefyd; a'r hwn nid yw yn caru ei frawd yr hwn a welodd, pa fodd y gall efe garu Duw yr hwn nis gwelodd? Nid yw cariad y Tad yn aros ynddo ef.

Yn 3ydd, Gwelir mai gras ydyw cariad—dawn Duw, megys y mae ffydd a gobaith felly. Gall y rhai sydd hebddo ei gael, a'r rhai sydd eisoes wedi ei dderbyn ei gael yn helaethach. Y mae y rhai sydd yn dihoeni yn y trefydd gan wres yr haf yn hoff o fyned at y môr, i fwynhâu ei awelon iachus, i wrando ar ei furmur tawel, ac i ymdrochi yn ei ddyfroedd adfywiol. Y mae aml un ag y byd amgylchiadau yn caniatâu iddo yn adeiladu ei dŷ ar ei fin. Nyni a gawn oll dalu ymweliad càn fynyched ag y mynom â môr cariad Duw. A'r fath werth ydyw hyny i'r enaid blin, lluddedig, sydd wedi dihoeni yn nghanol trafferthion, helbulon, profedigaethau, temtasiynau y byd! O mor ogoneddus ydyw yr olwg arno, mor iach yw yr awelon oddiarno, mor soniarus yw ei furmur, ac mor adfywiol ydyw ymgladdu yn ei ddyfroedd dysglaer! Ië, ni a gawn fyw yma, os dewiswn, heb fod rhaid i ni symud oddiyma mewn un modd. Ac o wneyd hyny, deuwn i allu dyweyd gydag un o'r preswylwyr, "Yr ydym ni yn ei garu Ef, am iddo Ef yn gyntaf ein caru ni." Yn yr ansawdd yma ar ein calonau, ni bydd yn orchest fawr i ni garu y brodyr, y rhai y mae delw Duw arnynt, ac yn wir, caru eraill hefyd, gyda'r amcan a'r awydd o'u dwyn o dan y ddelw hon.

---

## GRAS DAN Y GYFFELYBIAETH O HALEN.

*Gan y Parch.* Owen Jones, *Llandudno.*

Marc ix. 50: "Da yw yr halen: ond os bydd yr halen yn ddiflas, â pha beth yr helltwch ef? Bid genych halen ynoch eich hunain, a byddwch heddychlawn â'ch gilydd."

Cymhwysiad yw y testun oddiwrth yr athrawiaeth a ddysgasai yr Athraw mawr i'w ddysgyblion yn flaenorol. Yn yr athrawiaeth hono efe a ddysgasai mor angenrheidiol oedd i'w ddilynwyr ef fod yn ostyngedig a hunanymwadol, fel na byddent yn achlysur i darfu neu rwystro un o'r rhai gwanaf eu ffydd ynddo ef" (adn. 38—49). A gwasgai at eu hystyriaeth y mawr bwys o'u bod hwy eu hunain yn gymeradwy gyda Duw; gan ddangos y dylasent fod yn barod i ymwrthod â'r pethau anwylaf ganddynt; ïe, pe byddent mor ddymunol, mor werthfawr, ac mor gyfreithlawn a'r troed dehau, y llaw ddehau, a'r llygad dehau, os byddai eu harbed yn achlysur o'u colledigaeth. Ac fel rheswm ychwanegol er mwyn dangos yr anghenrheidrwydd am y cyfryw hunanymwadiad, y llefarai efe y geiriau o flaen y testun, "Canys pob un a helltir â thân, a phob aberth a helltir â halen."

Y mae awduron enwog yn amrywio yn eu golygiadau yn fawr ar y geiriau hyn. Aralleiria un yr adnod fel y canlyn: "Canys pob un a fwrir i uffern fel y crybwyllwyd uchod, a helltir â thân; a phob aberth cymeradwy gan Dduw, sydd raid ei fod wedi ei halltu â halen gras i'w allu-ogi i ymwadu âg ef ei hun yn wyneb ei brofedigaethau." Dyry eraill olygiad gwahanol i'r geiriau, trwy ddadleu y goddefant gyfieithiad gwahanol, fel y canlyn: "Canys pob un a helltir â thân, *fel* yr helltir pob aberth â thân;" a'r meddwl

yn ol barn y cyfryw ydyw, megys yr oedd pob aberth dan yr hen oruchwyliaeth yn cael ei halltu â halen, felly o dan yr oruchwyliaeth newydd y caiff pob gwir Gristion gyfranogi o ddoniau yr Ysbryd Glân, trwy yr hyn eu galluogir i farweiddio pob chwant pechadurus. Eraill a farnant mai y cystuddiau llymion, yr erlidigaethau, a'r hunanymwadiad poenus sydd ynglŷn â phroffes gywir o Gristionogaeth, ydyw y peth a olygir wrth dân yma, yn gymaint ag y byddai i'r cyfryw brofedigaethau llym ion effeithio er darostwng eu llygredd, fel yr effeithiai yr halen ar yr aberthau. Eraill a aralleiriant yr ymadrodd fel hyn: "Megys yr oedd yn rhaid i'r holl aberthau dan y gyfraith gael eu halltu i dân yr allor, felly rhaid i'r aberthiad yma o'r llaw, y troed, a'r llygad dehau, gael ei halltu â chywirdeb egwyddor, o'r hyn yr oedd halen yn arlun, cyn y byddant yn gymeradwy gan Dduw. Gall un roddi ei gorff i'w losgi eto, oni bydd yn gwneyd hyny oddiar egwyddor o gariad cywir at Dduw, ni lesâ ddim iddo, gan nad yw wedi ei gymhwyso i allor Duw.

Wedi gwneyd y sylw uchod, y mae yr Athraw mawr yn myned rhagddo, gan ddywedyd yn ngeiriau ein testun, "Da yw yr halen." 'Da yw yr egwyddor gywir yma yn yr enaid.' 'Da a defnyddiol i'r byd a fyddwch chwi, fy nysgyblion, fel halen y ddaear, tra yn ymdrechgar trwy glod ac anghlod, trwy dân erlidigaethau a phrofedigaethau, i wrthweithio llygredigaeth y byd.' "Eithr os bydd yr halen yn ddihallt,"—os byddwch chwi wedi ymlygru, y rhai a ddylech fod yn offerynau pureiddiad y byd, pa beth a ddaw o honoch? Megys y mae halen diflas yn beth mwyaf dilês, felly y bydd cristionogion yn y sefyllfëydd uchaf yn eithaf annefnyddiol ac anmharchus, oni fydd eu hymddygiadau yn profi eu bod, yn ol eu proffes, yn feddiannol ar grefydd gywir a bywiol. Gan hyny, "bydded genych halen ynoch eich hunain:" gofalwch am fod yr egwyddor sanctaidd ynoch, a'i bod ar weithrediad parhâus er eich puro chwi eich hunain yn wastadol, ac felly eich galluogi i ymwadu â chwi eich hunain, gan ddarostwng uchelfrydedd eich calonau, a'ch cadw yn bobl ostyngedig ac addfwyn, ac felly yn anymrysongar a heddychlawn â'ch gilydd.

Gellid defnyddio y geiriau hyn yn briodol i ddarlunio gwir weinidogion yr efengyl, y rhai ydynt fel halen yn wir anghenrheidiol ac yn annhraethol fuddiol er puro cymdeithas: "Da yw yr halen." A gellid eu defnyddio hefyd i ddangos aflesoldeb a niweidioldeb gau athrawon; a pherygl eu cyflwr. Y maent fel halen wedi colli ei flas; heb fod o lês i eraill, ac yn debyg i fod yn wrthodedig eu hunain: "Ond os bydd yr halen yn ddihallt, â pha beth yr helltwch ef?"

Ond bwriadaf ddefnyddio y geiriau ar yr achlysur presennol i ddangos gwerth gwir grefydd,—y perygl o foddloni ar enw o grefydd, heb fuchedd sanctaidd yn profi cywirdeb y broffes, ac i gymhell y rhai a wrandawant i ymofyn am grefydd gywir, ac ymdrechu ymhob amgylchiad i ymddwyn fel y gweddai i rai wedi ymgysegru i wasanaeth a gogoniant Duw.

I. Galwaf sylw at werthfawrogrwydd gwir grefydd, yr hon a ddarlunir yma drwy y gyffelybiaeth o halen.

Pa beth bynag sydd mewn halen daearol yn fuddiol mewn ystyr naturiol, y mae yn briodol yn hyny i ddarlunio buddioldeb duwioldeb, neu egwyddor rasol yn y galon.

1. Y mae halen yn fuddiol i wrthweithio braeniad mewn pethau, felly y mae gwir grefydd mewn ystyr foesol. Y mae dynolryw yn feirw mewn camweddau a phechodau; ac y mae llygriad yn dilyn marwolaeth unrhyw sylwedd naturiol, ac yn arwydd egluraf, a phrawf sicraf, ei fod wedi marw yn wirioneddol; felly y mae llygredigaeth holl ddynolryw mewn ystyr foesol yn arwydd eglur a phrawf sicr o'r farwolaeth ysbrydol yma: ac fel y mae yn naturiol i bob ysgerbwd difywyd fyned yn fwyfwy llygredig, felly y mae llygredigaeth pechod yn ymdaenu, yn cryfhâu, ac yn myned rhagddo. Ac oni buasai i Dduw ddwyn halen gras, a'i fwrw i'r ddaear, buasai llygredigaeth pechod wedi myned mor gryf bellach fel na buasai y ddaear nemawr, os dim, gwell nag uffern ei hunan.

Pan rodder halen ar sylwedd darostyngedig i lygru, y mae yn tynu defnyddiau y llygredigaeth o hono, ac felly yn ei gadw yn ddilwgr; felly y mae gras yn gweithio ar y galon ddynol i dynu o honi ddefnyddiau llygriad moesol. Pechod yw y ffieidd-beth mwyaf; nid oes dim arall a ddichon halogi dyn i'r fath raddau. "Pa faint mwy ffiaidd a drewedig ydyw dyn, yr hwn sydd yn yfed anwiredd fel dwfr?" Ac y mae y llwgr yma ymhob dyn yn ei gyflwr natur, a phob enaid wedi ei halogi ganddo; canys pwy a ddichon ddywedyd, "Mi a lanheais fy nghalon, glân ydwyf fi oddiwrth fy mhechod?" Ond cyn y gall neb gyrhaedd mwynhâd o Dduw, rhaid cael y galon yn bur; canys felly y tystiai yr Athraw mawr, "Gwyn eu byd y rhai pur o galon; canys hwy a welant Dduw." Felly gwelwn fod gwerth annhraethol mewn trefn effeithiol i buro yr enaid; ac felly y dywedir yma, "Da yw yr halen."

Yn yr adenedigaeth y mae Ysbryd Duw yn dodi egwyddor rasol yn y galon o naturiaeth; y mae y dyn newydd yn cael ei greu

"yn ol delw yr Hwn a'i crëodd ef;" y mae anian newydd yn cael ei rhoddi yn yr enaid, a hono yn dduwiol "anian." Y mae calon newydd yn cael ei chreu ynddo, a hono yn "galon lân;" y mae ysbryd newydd yn cael ei ddodi o'i fewn, a hwnw yn "ysbryd uniawn;" ac er fod yno lygredd yn anurddo holl natur y dyn o'r blaen, fe'i difëir gan burdeb o radd i radd, hyd oni fydd perffeithrwydd yn teyrnasu ar holl alluoedd y dyn yn drwyadl.

Ai marwolaeth y gelwir y llwgr hwn? Yna bywyd y gelwir gras. Ai tywyllwch ei gelwir? Yna goleuni y gelwir gras. Ai llygredigaeth y galwn ni effeithiau pechod ar y galon? Yna halen y gelwir gras Duw a roddir i'w wrthweithio, a'i ddifodi.

Lle y mae purdeb yn cael ei gynnyrchu yn yr enaid, y mae y cyfryw un wedi ei argyhoeddi i fesur o'r halogrwydd sydd yn natur pechod, nes y mae yn ei ffieiddio, ïe, ac yn ei ffieiddio ei hun o herwydd y llygredd sydd yn aros yn ei natur. Yr hwch a ymdreigla yn y dom yn ddedwyddach na phe byddai mewn gwely mân-blu; y cŵn a'r cigfrain a wleddant yn hyfryd ar ysgerbydion a ffieidd.r gan ddyn; a phaham hyny? Onid am fod y cyfryw ffieidd-derau yn gydnaws â'u natur anmhur hwy? Felly y mae gyda dynion anianol: nid ydynt yn gweled ffieidd-dra mewn pechod, nac yn teimlo yn anghysurus dan ei arglwyddiaeth; y maent "yn bwyta pechod fel bara ac yn yfed anwiredd fel dwfr;" a hyny "am fod bryd meddylfryd eu calonau yn unig yn ddrygionus bob amser." Ond y mae'r dyn grasol yn casâu pechod, yn arswydo rhag "cyffwrdd hyd yn nôd â'r wisg a halogwyd gan y cnawd," ac yn cilio "oddiwrth bob rhith drygioni." Y mae gweled eraill yn pechu yn ei ofidio; ond teimlo gwŷniau pechadurus yn ei natur ef ei hun sydd yn ei ofidio fwyaf, a hyny am ei fod yn taro yn erbyn Duw, ffynnonell purdeb. A pha le bynag y mae egwyddor rasol wedi ei rhoddi yn y galon, y mae yno alar duwiol am bechod; y mae yr enaid, nid yn unig yn cilio oddiwrth bechod yn bresennol, ac yn ei ffieiddio pa le bynag ei gwelo, ond hefyd yn cywilyddio ac yn galaru am iddo erioed ymhyfrydu yn y fath ffieidd-dra. Y mae edrych ar y creithiau a adawodd codymau bore ei oes ar ei natur yn ei ofidio yn ddwys; y mae yn fynych yn gorfod meddiannu camweddau ei ieuenctyd, ac mor drallodus o'u herwydd fel y mae yn golchi y llysnafedd a adawsant ar ei gydwybod â dylif o ddagrau edifeirwch lawer awr yn ngwyliadwriaethau y nos.

A pha le bynag y mae yr egwyddor rasol hon wedi ei rhoddi yn y galon, mae yno nid yn unig ffieiddiad o bechod yn y galon, a galar a chywilydd o'i herwydd, ond hefyd ymdrech dyfal i'w farweiddio. Fe ddywed naturiaethwyr fod halen yn sylwedd sydd â threiddioldeb neillduol yn ei natur. Pa fodd bynag am hyny, y mae y briodoledd yma yn perthyn yn arbenig i ras yn y galon; fe dreiddia drwy holl serchiadau y dyn; dylanwada ar ei chwaeth a'i farn; effeithia farweiddiad ar wraidd pechod yn holl gelloedd y galon, ac a sugna wenwyn llygredigaeth o holl bibellau ei natur, nes ei gael yn berffaith. Pan roddwyd gras yn y galon yn hedyn bychan, eiddil yr olwg arno, fe'i rhoed yno i dyfu, a myned yn bren mawr, nes llenwi yr holl ardd ei hunan o'r diwedd; ac er pob anfanteision, cynnyddu a wna dan ofal y Pen-garddwr a'i planodd, nes perarogli y fro i'r fath raddau nas gall chwynogyn chwerw llygredd fyw ynddi cyn bo hir. Mae yn wir nad yw gras eto wedi perffeithio ei waith ar y galon; ond y mae wedi ei ddechre; ac mor wir ag i ras ddyfod i'r galon unwaith, fe fyn gael meddiant cyflawn o honi iddo ei hun cyn hir. Cyn dyfodiad gras i'r enaid, yr oedd llygredd yn meddu arglwyddiaeth drwyadl ar y dyn, holl gynneddfau yr enaid yn arfau anghyfiawnder i bechod, a'r galon yn neuadd ddiogel gan y cryfarfog; ond er pan y daeth gras i'r galon, y mae grym pechod wedi ei dori; y rheffynau cryfion a'i cydiai wrth y galon wedi eu dattod i raddau. Y mae Satan wedi colli yr orsedd, a gras wedi ei meddiannu, ac "yn teyrnasu trwy gyfiawnder i fywyd tragywyddol."

Eilwaith, lle mae yr egwyddor hon yn y galon, y mae yno ymdrech barhâus i ymlanhâu oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd. Er fod llygredigaeth yn aros eto, y mae halen yr anian dduwiol yma mor wrthwyneb iddo, nas gorphwysa nes llwyr buro teml y galon oddiwrth ei holl lygredd. Blinder mwyaf y dyn duwiol ydyw y llygredd sydd yn aros yn y galon; ac am gael ymwared oddiwrtho y mae ei gri gwastadol. Mae yn gweled prydferthwch annhraethadwy mewn sancteiddrwydd, ac yn ymhyfrydu ymhob rhyw ymarferiadau sanctaidd, "fel un yn cael ysglyfaeth lawer;" ond nis boddlonir ef ar unrhyw fesur o burdeb yn fyr o berffeithrwydd; y mae yn newynu ac yn sychedu am gyfiawnder, yn hiraethu am fwynhâd o burdeb y Jerusalem hono sydd fry. Ac nid yn unig hyny, ond y mae perchen gwir grefydd yn dylanwadu yn buredigol ar bob cylch cymdeithasol y bydd yn troi ynddo; a phwy a ddysgwylir i wneyd hyny oni wna saint Duw, y tystion gosodedig ganddo dros ei enw a'i anrhydedd ar y ddaear? Lle y mae halen gras yn cael ei roddi yn nghalon dyn, y mae yn gwneyd ei berchen yn hallt yn erbyn pob llygredigaeth mewn byd ac eglwys.

2 Y mae halen yn fuddiol i bereiddio sylweddau drygnaws o flâs ac arogl; felly y mae gwir grefydd yn fuddiol i bereiddio ein byd drygnaws ni. Lle y mae gras yn y galon, y mae yn dylanwadu ar y gwefusau; canys "o helaethrwydd y galon y llefara y genau." Ac felly y golygai yr apostol Paul, pan ddywedai, "Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasol, wedi ei dymheru â halen, fel y gwypoch pa fodd y mae yn rhaid i chwi ateb i bob dyn." Pa beth yw yr holl eiriau segur sydd yn dyferu oddiar wefusau ieuenctyd ein gwlad yn eu cyfeillachau, y maswedd anweddaidd, y chwedlau enllibaidd, a'r athrod a daenir o dŷ i dŷ, y llwon a'r rhegfeydd aflan a glywir yn adseinio yn ein heolydd, nes peri i glustiau y rhai sydd yn ofni Duw ferwino? Ië, pa beth yw hyn oll onid mygdarth drygsawrus calonau llygredig, heb eu pereiddio â halen gras? Ond lle y mae gras Duw wedi meddiannu y galon, y mae yn puro ac yn pereiddio y myfyrdodau; ac felly y dywedai y Salmydd, "Bydd melus fy myfyrdod am dano," sef am Dduw; "mi a lawenychaf yn yr Arglwydd." Ac fe all y cyfryw ddywedyd oddiar brofiad, "Mor felus yw dy eiriau i'm genau! melusach na mêl i'm safn." Yr oedd yn rhaid am halen ar yr aberthau cysgodol gynt, i'w gwneyd yn gymeradwy gan Dduw; felly y mae yn rhaid i ninnau wrth halen gras yn y galon cyn y gallwn ni, na dim a wnelom, fod yn gymeradwy gan Dduw. Am hyny "bydded genym ras, trwy yr hyn y gwasanaethom Dduw wrth ei fodd." A dilynwn sancteiddrwydd, ymofynwn am y purdeb calon yma, "heb yr hwn ni chaiff neb weled yr Arglwydd." Yr oedd yn rhaid i Esther gynt, nid yn unig gael ffafr yn ngolwg y brenin Ahasferus, ond hefyd ei pharotoi trwy fod chwe' mis mewn olew myrr, a chwe' mis mewn peraroglau, i'w chymhwyso i ymddangos ger ei fron yn ei lŷs; felly rhaid i tithau, fy enaid, nid yn unig gael dy gymmodi â Duw trwy ei Fab ef, ond bod dan oruchwyliaethau grasol ei Ysbryd i'th gymhwyso i'w fwynhâu yn ngwlad y purdeb perffaith, a chael gorphwysdra o'i olwg ef.

3. Y mae halen yn fuddiol i iachâu, ac felly y mae mewn rhyw ffurf neu arall yn gwneyd i fyny ran o holl brif gyfferiau ein hoes. Yr oedd yr hynafiaid enwog mor gyfarwydd ar y briodoledd yma mewn halen, fel y galwai Pliny ef yn falm y byd; ac yn gyffelyb y gellir dyweyd am ras mewn ystyr foesol. Nyni a gawn ddarluniad tarawiadol o hyn yn ngwaith y prophwyd Eliseus yn bwrw halen i ffynnonell dyfroedd afiach Jericho, gan ddywedyd, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Mi a iachëais y dyfroedd hyn: ni bydd yno farwolaeth mwyach, na diffrwythdra." Felly y mae yr Ysbryd Glân yn yr adenedigaeth yn bwrw halen gras i'r galon lygredig, ffynnonell yr holl serchiadau, a thrwy hyny yn ei hiachâu yn ysbrydol, fel na bydd oddiyno farwolaeth mwyach i dueddiadau daionus.

Y mae plant dynion wedi ymboeni llawer mewn ymchwil am ryw feddyginiaeth gyffredinol i anhwylderau anianyddol, ond yn aflwyddiannus hyd yma; ac er cymaint a ganmolir ar ryw gyfferiau fel pe byddai gyfaddasrwydd ynddynt i wellâu pob afiechyd, y mae yn sicr fod llawer mwy o dwyll nag o wirionedd yn y cyfryw fôst. Pa fodd bynag am hyny, y mae yn dda genyf allu hysbysu am un *specific* sicr o fod yn rhinweddol i wellâu holl anhwylderau enaid afiach, er mor amrywiol ydynt, a hwnw yw y peth a ganmolir yn fy nhestun,—halen gras yn y galon. Dyma gyfarwyddyd na fethodd erioed: "Bydded genych halen ynoch eich hunain." Gwnaeth lawer Manasseh waedlyd yn weddïwr gostyngedig; dŷg ambell i Saul Phariseaidd, a ymchwyddai yn ei hunan-gyfiawnder, ac oedd wedi ymlenwi o wenwyn ymbleidiaeth fel yr oedd yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn dysgyblion Crist, yn ddigon hunanymwadol i ddyweyd yn ddiragrith am dano ei hunan mai y penaf o bechaduriaid ydoedd, a'i fod yn cyfrif y pethau a fuasent yn elw iddo yn dom ac yn golled er mwyn Crist, gan bregethu yn zelog yr Hwn y buasai unwaith yn ei erlid. A phe byddit tithau fel y Mair hono gynt, wedi dy feddiannu gan saith o gythreuliaid, ond i Ysbryd Duw roddi halen gras yn dy galon, fe'th wnelai yn ddigon edifeiriol i olchi traed y Gwaredwr â dy ddagrau, a'u sychu â gwallt dy ben; ïe, pe byddai lleng o gythreuliaid wedi cymeryd meddiant o dy galon, fe'th ddygid yn fuan at draed yr Iesu yn dy ddillad a'th iawn bwyll. Dyma gyffyr mor rinweddol fel na bu yn aflwyddiannus mewn unrhyw amgylchiad ei cymhwyswyd erioed. Pa sawl myrdd sydd heddyw yn "yr anneddle lonydd," lle na ddywed "yr un o'r preswylwyr, Claf ydwyf," a fuont fel dy hunan ar fin trancedigaeth dan effeithiau pla pechod, wedi eu cwbl iachâu trwy rinwedd gras? Pa sawl cybydd a gorthrymwr fel Zacheus a wnaed yn hael? Pa sawl balch o galon, ac uchel o feddwl, fel Saul o Tarsus, a wnaed yn ostyngedig a hunanymwadol fel Paul? Pa sawl lleidr a gwas anffyddlawn, fel Onesimus, a wnaed yn onest? Pa sawl meddwyn a wnaed yn sobr? Pa sawl godinebwr aflan a wnaed yn ddiwair? Pa sawl celwyddwr a wnaed yn eirwir, a'r cwbl drwy ddylanwad gras yn cael ei gymhwyso atynt, a'i roddi ynddynt, gan

yr Ysbryd Glân, y rhai ydynt heddyw yn golofnau yn y deml fry, o ryfeddol effeithiau yr halen hwn? Felly, "Da yw yr halen."

4. Y mae halen yn fuddiol er ffrwythloni daear ddiffrwyth. Mawr yw yr ymdrechion a wneir gan drinwyr y ddaear yn y dyddiau hyn er gwneyd eu tiroedd yn fwy cynnyrchiol. Chwiliant yn ddyfal i ansoddion amryfal ddefnyddiau er cael allan ba beth a all fod oreu i'w gymhwyso at y llanerchau mwyaf diffrwyth; ac yn y diwedd, halen, mewn rhyw ffurf a chydgorfforiad, a gafwyd yn ateb y dyben oreu i'r perwyl. Y mae rhai a ddygwyd i fyny yn ngwledydd arforawl Cymru yn cofio yn dda y llafur blin a ddefnyddid i lusgo y tywod a'r môr-lysiau, yn gannoedd o lwythi, i'w cymysgu â defnyddiau eraill, er gwneyd gwrtaith addas i'w daenu ar wyneb y meusydd: a'r prif ansawdd a wnelai y cyfryw wrtaith mor lesol oedd yr elfen hâlaidd oedd ynddo. Ond yn y golygiad yma eto, y mae holl hâl anian yn ddiddym yn ei rinwedd a'i werth mewn cymhariaeth â halen gras; ffrwyth hwn yw sancteiddrwydd, ac y mae y diwedd yn fywyd tragywyddol. Cyn i halen gras gael ei roddi yn y galon, y mae gwŷniau pechodau yn gweithio yn yr aelodau, i ddwyn ffrwyth i farwolaeth; ond wedi dyfodiad gras y mae yn sychu i fyny yr *humours* niweidiol hyny, fel y dygid ffrwyth i Dduw.

Mae yr Apostol Paul, yn ei lythyr at y Galatiaid, yn rhoddi i ni ryw ddosraniad o gynnyrchion daear heb yr halen yma, mewn ystyr foesol; ac O y fath ddiffeithwch ofnadwy yr olwg arno ydyw! "Amlwg yw gweithredoedd y cnawd, y rhai yw tòr-priodas, godineb, anlladrwydd, delwaddoliaeth, swyngyfaredd, casineb, cynhenau, gwynfydau, llid, ymrysonau, ymbleidio, heresiau, cenfigenau, llofruddiaeth, meddwdod, cyfeddach, a chyffelyb i'r rhai hyn." Ië, dyma y drain, yr ysgall, a'r chwŷn gwenwynig a dwf yn ngardd calon ddiras. Ond gadewch i ni edrych ar yr un llanerch wedi y doder halen gras ynddynt: y fath gyfnewidiad anhygoel a welir ar eu hwyneb! yn y fan, dacw flodau paradwys yn dechre codi eu penau, ac ymledu dros y fro, nes y mae eu perarogl adfywiol yn troi uffern yn nefoedd o'r bron; canys "ffrwyth yr Ysbryd yw cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest." Yn yr holl olygiadau hyn gallwn ddywedyd, "Da yw yr halen."

*(I barhâu.)*

---

## DAGRAU Y BIBL.

Yr ydym wedi cael ein gwerthfawrogi â hanes llawer iawn o ddagrau yn y Bibl yn eu gwahanol achosion. Mae dagrau yn sicr o fod yn hysbys i bawb, ond y mae rhai yn fwy tueddol o ran natur i wylo dagrau nag eraill. Yr ydym yn cael fod Dafydd yn hynod ddarostyngedig i ddagrau, a hyny yn benaf o herwydd ei gyflwr ysbrydol. Cawn Ddafydd a'r holl bobl oedd gydag ef yn dyrchafu eu llef, "ac a wylasant hyd nad oedd nerth ynddynt i wylo," ar yr achlysur o yspeilio Siclag gan yr Amaleciaid, ynghyd a chyfyngder a chyni Dafydd ei hun, pan yr oedd y bobl am ei labyddio fel yr achlysurydd o'r drygfyd hwnw. Mae efe hefyd, a'r holl bobl oedd gydag ef, yn galaru yn ddwys am Abner. A phan glywodd Dafydd fod Ahitophel ymysg y cydfradwyr gydag Absalom, "Dafydd a aeth i fyny i fryn yr Olewydd; ac yr oedd yn myned i fyny ac yn wylo." Mae Joab yn peri i Dafydd beidio galaru pan y clywodd am Absalom; nid oedd yn hawdd peidio gwneyd, er fod Dafydd wedi cael ar y pryd y fath waredigaeth. Ond wylodd lawer mwy yn ei gystudd, pryd y dywedodd, "Bob nos yr ydwyf yn gwneuthur fy ngwely yn foddfa; yr ydwyf fi yn gwlychu fy ngorweddfa â'm dagrau. Fy nagrau oedd fwyd i mi ddydd a nos." Yr oedd Dafydd fel hyn bron wedi blino ar ei einioes. Yr oedd gelynion yr Arglwydd yn poeni llawer ar ei feddwl. Mewn ymladdfa rhagddynt yr oedd, ond ar yr un pryd yn ymddiried yn Nuw, pan y dywedodd, "Dod fy nagrau yn dy gostrel; onid ydynt yn dy lyfr di?" Yr oedd wedi cael profion mynych fod Duw wedi gwrandaw ar ei weddïau, a gweled ei ddagrau. Yr oedd hefyd yn gwybod fod yr Arglwydd yn hoffi ac yn sylwi yn fawr ar ddagrau ei bobl; oblegid "y rhai sydd yn hau mewn dagrau a fedant mewn gorfoledd." Felly yr oedd y Salmydd fel yn cymeryd ei ddagrau yn ddadl am wrandawiad ei weddi, ac yn nodi fod pob deigryn yn nghadw gan Dduw. Pan yr oedd Duw yn gadael gwinwydden Israel, dywed y Salmydd, "Porthaist hwynt â bara dagrau; a diodaist hwynt â dagrau wrth fesur mawr." Pan yr oedd y Salmydd yn cwynfan mewn cystudd, dywedodd, "Bwytëais ludw fel bara, a chymysgais fy niod âg wylofain." Y mae hefyd yn diolch, "O herwydd i ti waredu fy enaid oddiwrth angeu, fy llygaid oddiwrth ddagrau, a'm traed rhag llithro." Dywed Salm ddiweddar am dristwch yr Iuddewon yn Babilon, "Wrth afonydd Babilon, yno yr eisteddasom ac wylasom pan feddyliasom am Sïon." Yno yr oedd dagrau y rhai alltudiedig yn chwerw.

Pan yr oedd Hezeciah yn gweddïo ac yn cael estyniad oes, cafodd atebiad boddlonol: "Clywais dy weddi di," ac nid hyny yn unig, ond "gwelais dy ddagrau." Pan yr oedd Job yn ei drallod mawr o herwydd ei elynion, tra ar yr un pryd ei fod yn eu galw yn gyfeillion, dywed, "Fy llygad a ddyferodd ddagrau wrth Dduw." Yr oedd gan Job ddigon o achosion eraill i wylo pe na buasai ond ei afiechyd. "Fy wyneb sydd fudr gan wylo," medd efe. Nis gallasai ei olchi gan gornwydydd oedd arno. Ac un oedd efe yn wylo nid dros ei sefyllfa ei hun yn unig: "Oni wylais i dros yr hwn oedd galed ei fyd?" Yr oedd Jacob yn wylo dagrau heilltion o herwydd tynghed Joseph: "A'i dad a wylodd am dano ef." Yr un modd yr oedd gyda Joseph o berthynas i'w frawd Benjamin, "A Joseph a frysiodd, oblegid cynhesasai ei ymysgaroedd ef tuag at ei frawd, ac a geisiodd le i wylo; ac a aeth i mewn i'r ystafell, ac a wylodd yno." Yr ydym yn cael yr adnod ganlynol mewn pennod neu ddwy ymhellach: "Ac efe a syrthiodd ar wddf ei frawd Benjamin, ac a wylodd; Benjamin hefyd a syrthiodd ar ei wddf yntau." Nid oedd Benjamin ond ieuanc, oddeutu deg oed, y pryd y gadawodd Joseph ei frawd ei gartref, ac yr oedd hyny weithian er ys dwy flynedd ar hugain. Eithr mae yn debyg fod Benjamin yn cofio ychydig am Joseph; ond gallasai ei fod wedi ei hollol anghofio oni buasai fod tad Benjamin yn tebygu i raddau i bob rhieni arall, trwy son yn fynych am Joseph yn ei glyw, yr hyn oedd yn creu cariad y bychan tuag at ei frawd. Dechreuodd Moses wylo yn ieuanc iawn fel pob plentyn arall. Wylo yr oedd pan agorodd merch Pharaoh y cawell. Yr oedd yr Israeliaid yn yr anialwch yn afresymol yn wylo bob un yn nrws ei babell, oddiar flys cnawdol am gigfwyd. Yr oedd yn anhawdd i Moses beidio cwyno o herwydd ei siars y pryd hwn. "Wylo y maent wrthyf, gan ddywedyd, Dod i ni gig i'w fwyta." Nis gallasai y prophwyd Eliseus beidio wylo pan y rhagwelodd greulonderau Hazael tuag at Israel Duw: "Ac efe a osododd ei wyneb, ac a ddaliodd sylw arno, nes cywilyddio o hono ef; a gŵr Duw a wylodd." Ar ol darlleniad llyfr y gyfraith i Josïah frenin, effeithiodd yn ddwys arno: "Ac ymostwng o honot ger fy mron, a rhwygo dy ddillad, ac wylo o'm blaen i, am hyny y gwrandewais innau, medd yr Arglwydd." Pan osodwyd yr offeiriaid a'r Lefiaid i foliannu wrth sylfaenu yr ail deml, yr oedd yno gymysg o floeddiadau: "Ond llawer o'r offeiriaid a'r Lefiaid, a'r penau cenedl, y rhai oedd hen, ac a welsent y tŷ cyntaf, wrth sylfaenu y tŷ hwn yn eu golwg, a wylasant â llef uchel; a llawer oedd yn dyrchafu llef mewn bloedd gorfoledd." Pan oedd Ezra ac eraill yn darllen y gyfraith i'r bobl, wylo yr oeddynt hwy; ond annogodd Nehemïah ac eraill hwy i ymlawenhau yn lle wylo. Mae'r Pregethwr, ar ol sylwi ar wagedd y byd, yn troi i edrych ar ddagrau y gorthrymedig: "Felly mi a ddychwelais, ac a edrychais ar yr holl orthrymderau sydd dan yr haul: ac wele ddagrau y rhai gorthrymedig heb neb i'w cysuro; ac ar law eu treiswyr yr oedd gallu, a hwythau heb neb i'w cysuro."

Yr oedd y prophwyd Esaiah yn wylo yn ddwys am gyflwr adfydus Moab: "Am hyny y galaraf âg wylofain Jazer, gwinwydden Sibmah; dyfrhâf di, Hesbon, ac Elealeh, â'm dagrau: canys ar dy ffrwythydd haf, ac ar dy gynauaf, y syrthiodd bloedd." Cawn Esaiah yn dywedyd hefyd am bobl Dduw, "A'r Arglwydd a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb." Mae y prophwyd Jeremïah yn galaru wrth ben llygredigaeth ac anffyddlondeb ei bobl: "O na bae fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynnon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl! Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Edrychwch, a gelwch am alarwragedd i ddyfod, a brysio, a chodi cwynfan am danom ni, fel y gollyngo ein llygaid ni ddagrau, ac y dyfero ein hamrantau ni ddwfr." Pan yr oedd y prophwyd yn galw y genedl i roi gogoniant i Dduw, mae yn dywedyd "Ond oni wrandewch chwi hyn, fy enaid a wyla mewn lleoedd dirgel am eich balchder; â'm llygaid gan wylo a wylant, ac a ollyngant ddagrau, o achos dwyn deadell yr Arglwydd i gaethiwed. Am hyny y dywedi wrthynt y gair yma, Dylered fy llygaid i ddagrau nos a dydd, ac na pheidiant; canys â briw mawr y briwyd y wyryf merch fy mhobl, ac â phla tost iawn. Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Attal dy lef rhag wylo, a'th lygaid rhag dagrau; canys y mae tâl i'th lafur, medd yr Arglwydd." Darlunir Jerusalem fel benyw drallodus yn wylo yn ddibaid: "Y mae hi yn wylo yn hidl liw nos, ac y mae ei dagrau ar ei gruddiau." Mae y prophwyd yn galaru am dristwch Jerusalem: "Am hyn yr ydwyf yn wylo; y mae fy llygad yn rhedeg gan ddwfr." Am y newyn yn Jerusalem, dywedodd, "Fy llygaid sydd yn pallu gan ddagrau. O fur merch Sion, tywallt ddagrau ddydd a nos fel afon; na orphwys, ac na pheidied canwyll dy lygad." Yr oedd Ezeciel yn ymattal rhag galaru ar ol ei wraig, yn ol gorchymyn yr Arglwydd: "Eto na alara, ac na wyla, ac na ddeued dy ddagrau" Yr oedd y prophwyd Malachi yn ceryddu yr offeiriaid a'r bobl am eu gauddnwiaeth: "Gan

orchuddio â dagrau allor yr Arglwydd trwy wylofain a gwaeddi."

Syrthiodd Pedr, wedi gwadu ei Arglwydd, i alar mawr ar ganiad y ceiliog: "Ac efe a aeth allan ac a wylodd yn chwerw-dost." Yr oedd yr achlysur o farwolaeth merch Jairus yn achos o fawr wylo a galaru; ond nis gallasai yr Iesu oddef gweled neb mewn poen o un math; pan welodd y galarwyr, gofynodd iddynt, "Paham y gwnewch gynhwrf ac yr wylwch? ni bu farw yr eneth, eithr cysgu y mae." Ond cysgu hûn marwolaeth i gael ei deffroi yn fuan yr oedd hi gan ei allu a'i awdurdod Ef. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn cysuro ei ddysgyblion, trwy ddywedyd, "Gwyn eich byd y rhai ydych yn wylo yr awrhon, canys chwi a chwerddwch." Cawn y geiriau canlynol yn yr un bregeth, "Gwae chwi y rhai a chwerddwch yr awrhon, canys chwi a alerwch ac a wylwch." Dylem fel hyn werthfawrogi y byd helbulus hwn yn lle ei gasâu; canys pwy a ŵyr na chawn achlysur i ymlawenychu ar ol hyn! Nis gallasai yr Iesu oddef edrych ar neb yn wylo yn ddiobaith. Pan welodd efe y wraig weddw yn myned i gladdu ei mab, y geiriau cyntaf a ddywedodd wrthi oedd, "Nac wyla." Yr oedd efe yn gwybod beth oedd i gymeryd lle yn ebrwydd yno. Nid yw efe yn gwarafun wylo wrth i ni gladdu ein perthynasau a'n cyfeillion; mae yn rhaid i deimladau natur gael eu ffordd yn hyny; ac yn wir, fe wylodd Iesu ei hun wrth fedd ei gyfaill Lazarus. "Am hyny y dywedodd yr Iuddewon, Wele, fel yr oedd efe yn ei garu ef."

Yr oedd Crist, er ei fod yn Fab Duw, "yn nyddiau ei gnawd, trwy lefain cryf a dagrau, yn offrwm gweddïau ac erfyniau at yr Hwn oedd abl i'w achub ef oddiwrth farwolaeth," ac efe a gafodd "ei wrandaw yn yr hyn a ofnodd." Yr oedd y wraig edifeiriol, "yr hon oedd bechadures," fel ei gelwir, mewn trallod dirfawr o herwydd ei haml bechodau. "A chan sefyll wrth ei draed ef, o'r tu ol, ac wylo, hi a ddechreuodd olchi ei draed ef â'i dagrau, ac a'u sychodd â gwallt ei phen." Yr oedd ei dagrau hyn yn ddagrau o wir edifeirwch, a dagrau o gariad at ei Hachubwr, ac yna yn ddagrau o ddiolchgarwch diragrith am y drugaredd faddeuol a gawsai hi. Yr oedd merched Jerusalem yn tywallt dagrau wrth ei weled ar y ffordd i'r groes. "Nac wylwch o'm plegid i," ebe efe, "eithr wylwch o'ch plegid eich hunain, ac oblegid eich plant." Gwyddai ef beth oedd i gymeryd lle yno yn fuan ar ol hyny. Pan oedd Crist yn cysuro ei ddysgyblion trwy yr addewid o'r Yspryd Glân, ac o'i adgyfodiad a'i esgyniad, dywed wrthynt, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, chwi a wylwch ac a alerwch, a'r byd a lawenycha, eithr chwi a fyddwch drist ion; ond eich tristwch a droir yn llawenydd."

Yr oedd tristwch mawr ymysg y gwragedd gweddwon ar farwolaeth Dorcas; nis gallasent beidio wylo wrth edrych ar ei chorff marw, ac ar ei gwaith elusengar, yn yr hyn y bu hi mor garedig wrthynt, ac y cyfodwyd hi drachefn i weithio yn gyffelyb. Yr oedd Paul, wedi galw ato henuriaid Ephesus, yn adgofio iddynt fel y bu "yn gwasanaethu yr Arglwydd gyda phob gostyngeiddrwyddd a llawer o ddagrau." "Gwyliwch, a chofiwch, dros dair blynedd na pheidiais i nos a dydd a rhybuddio pob un o honoch â dagrau." Pan oedd efe yn gwrthod cymeryd ei gynghori i beidio myned i Jerusalem, Paul a atebodd, "Beth a wnewch chwi yn wylo ac yn tori fy nghalon i? Canys parod wyf fi, nid i'm rhwymo yn unig, ond i farw hefyd yn Jerusalem, er mwyn enw yr Arglwydd Iesu." Dyma gariad, onidê? cariad tebyg o ran ei natur i gariad Crist ei Feistr mawr. Cawn ef yn gorchymyn hefyd, "Byddwch lawen gyda y rhai sydd lawen, ac wylwch gyda y rhai sydd yn wylo." "O orthrymder mawr a chyfyngder calon yr ysgrifenais atoch â dagrau lawer," ebe efe wrth ei gyfeillion. Credaf fod Paul yn hen wylwr dwys diragrith; mae yn dywedyd yn ei lythyr at y Philippiaid, "Canys y mae llawer yn rhodio, am y rhai y dywedais i chwi yn fynych, ac yr ydwyf yr awrhon hefyd dan wylo yn dywedyd, mai gelynion croes Crist ydynt." Mae yn dadgan ei fawr gariad yn ei lythyr at Timotheus: "Gan fawr ewyllysio dy weled, gan gofio dy ddagrau, fel y'm llanwer o lawenydd." Mae yr Apostol Iago, wrth geryddu yr Iuddewon am eu mawrion bechodau, yn dywedyd, "Ymofidiwch, a galerwch, ac wylwch; tröer eich chwerthin chwi yn alar, a'ch llawenydd yn dristwch. Iddo yn awr, chwi gyfoethogion, wylwch ac udwch am eich trueni sydd yn dyfod arnoch." Ioan yn y weledigaeth a "wylodd lawer, o achos na chaed neb yn deilwng i agoryd ac i ddarllen y llyfr," llyfr y saith sêl, "nac i edrych arno." Mae efe hefyd yn hysbysu am alarnadau y marchnadwyr ar ol Babilon: "Safant o hirbell oddiwrthi, gan ofni ei gofid hi, gan wylo a galaru." Ond y mae Ioan ymhellach yn dyweyd hefyd am saint Duw; ac â'r geiriau hyny y terfynwn y llith hon ar *ddagrau y Bibl:* "Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach; na thristwch, na llefain, na phoen, ni bydd mwyach."

PERSIA.

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

### PENNOD V.

*Thomas a Barbara Bartley.*

WRTH edrych yn ol at gyfnod fy machgendod, teimlwyf ei fod wedi myned heibio heb i mi fwynhâu ond ychydig o'r hoenusrwydd diofal hwnw sydd yn syrthio i ran agos bob bachgen, gan nad beth fyddo sefyllfa ei deulu. Hyd yn nôd pan na wyddwn am anghen a helbul yn fy nghartref, yr oedd manyldeb Puritanaidd fy mam yn gosod terfyn ar fy chwareuon, rhif ar fy nghymdeithion, a mesur ar fy nifyrwch. Yr oedd rhyw fath o wybodaeth am "gwymp dyn," "y ddau gyfammod," a phynciau cyffelyb, yn cael ei phwyo i fy mhen pryd y dylaswn fod yn chware *marbles*. Tra yr oedd fy nghyfoedion yn chware "dal llwynog," cedwid fi gartref i ddysgu rhanau o'r Salm fawr; ac nid rhyfedd fy mod yn salach chwareuwr na neb pan oeddwn yn ysgol Robyn y Sowldiwr, ac fod hyd yn nôd y genethod yn chwerthin am fy mhen. Ni ddymunwn er dim a'r a welais ddyweyd gair yn anmharchus am fy mam, oblegid credaf fod ei hamcanion mor bur â phelydr y goleuni. Ond yr wyf yn ofni iddi yn ei hanwybodaeth achlysuro fy ngwendid corfforol, a'r prudd-der a'r iselder ysbryd yr wyf mor ddarostyngedig iddo, a'r hwn sydd erbyn hyn ar amserau fel clefyd arnaf. Cyn i mi gael gorlawenu yn niniweidrwydd bachgendod, yr oeddwn wedi fy nysgu am yr etifeddiaeth a adawsai fy nhad Adda i mi, am *ins and outs* fy nghalon lygredig, ac am yr hen foneddwr sydd yn rhodio oddiamgylch fel llew rhuadwy. Mewn gair, yr oedd ochr dywyll y natur ddynol wedi ei phortreiadu i mi mor hagr âg y gallasai doniau fy mam ei gwneyd. Cafodd y ddysgeidiaeth ei heffaith arnaf; ac erbyn hyn nid wyf yn synu fod fy nghymdeithion yn fy llysenwi y pryd hwnw, "yr hen ddyn."

Tair blwydd ar ddeg oed oeddwn pan garcharwyd fy mrawd; ond nid fel bachgen o'r oed hwnw y teimlais warth a gofid yr amgylchiad. Nid chwerwder undydd unnos ydoedd i gael ei iachâu drannoeth gan nwyfiant fy nghymdeithion chwareus. Llanwodd fy ysbryd â phrudd-der, a magodd bryf yn fy nghalon nad allai hyd yn nôd fy nghyfaill ffyddlawn a llawen Wil Bryan ei ladd. Nid yn hawdd y gallaf ddesgrifio ystâd fy meddwl. Yr oedd yn gymysgedd o gydymdeimlad pur â fy mrawd yn ei brofedigaeth, argyhoeddiad dwfn o'i ddiniweidrwydd, ynghyd ag edmygedd cyunyddol o'i gymeriad. Rhaid i mi addef fod ynof hefyd falchder clwyfedig, ysbryd ymddial, a thuedd i ffraeo â threfn Rhagluniaeth. Gwn o'r goreu nad oeddwn mewn ysbryd priodol; oblegid pan hysbyswyd fi drannoeth ar ol i fy mrawd a'i gymdeithion gael eu cymeryd i'r carchar, fod difrod arswydus wedi ei wneyd ar *game* Gŵr y Plas, boddhäwyd fi yn ddirfawr, er na feiddiwn ddyweyd hyny wrth fy mam. Yr oedd gwagder teimladwy yn y bwthyn o herwydd absennoldeb fy mrawd ymron mor boenus â'r hyn a'i hachlysurodd. Hebddo ef yr oedd cartref fel corff heb enaid, a'r diffyg bywyd oedd ynddo mor amlwg ag ydyw yr ymdeimlad rhyfedd pan fo un wedi bod mewn melin am rai oriau ac i'w holwynion sefyll yn sydyn. Teimlais golli ei ymddangosiad gwrol, ei lais soniarus, a'i ffraethineb dihysbydd; ac nid oedd cartref mwyach yn gartref. Er na ddywedai hi hyny, gwyddwn mai yn gyffelyb y teimlai fy mam. Mewn ystod un diwrnod, newidiodd lliw a gwedd ei hwyneb. Ymadawodd gweddillion gwrid ei hieuenctyd—byth i ddychwelyd; ac o dan ei llygaid gleision argraffodd trallod ei enw mewn llythyren ddu. Laweroedd o weithiau yn nghorff y dydd cerddai i'r drws gan edrych bob tro i'r un cyfeiriad, fel pe buasai yn gobeithio yn erbyn gobaith weled ei bachgen yn dychwelyd. Gan mor ddwfn oedd ei hargyhoeddiad o'i ddiniweidrwydd, ac anghyfiawnder ei garchariad, nid wyf yn sicr nad oedd hi yn lled ddysgwyl am ymyriad goruwchnaturiol i'w ryddhâu. Nis gwn pa un ai grym ymarferiad, ai rhywbeth arall, a barai iddi wrth barotoi pryd o fwyd ddarparu ar gyfer tri o honom; ond gwelais hi fwy nag unwaith, megys ar adeg tê, yn gosod tair cwpan ar y bwrdd, ac wedi gweled ei chamgymeriad yn cymeryd un ymaith yn ddirgel, gan feddwl nad oeddwn i yn sylwi arni. Gallwn nodi llawer o fân bethau eraill a gyflawnai, y rhai a ddangosent ystâd synfreuddwydiol ei hysbryd. Erbyn hyn yr oedd pobpeth a berthynai fel eiddo neillduol fy mrawd yn gorfod talu teyrnged iddi am ei absennoldeb. Rhwbiai y llwch oddiar ei lyfrau Saesoneg, yn erbyn y rhai yn flaenorol yr oedd ganddi ragfarn cryf; a throai eu dalenau yn fynych er na ddeallai hi un gair o honynt. Yr wyf yn meddwl fy mod ar y pryd yn berffaith ymwybodol o ystâd ei theimladau, er nad allaf y pryd hwn ei gyfleu mewn geiriau. Nid trallod cynhyrfus ar y wyneb ydoedd, ond

gofid â'i gyfeiriad ar i lawr i eigion yr enaid, ac yn cludo gydag ef holl gysylltiadau poenus yr hyn a'i hachlysurodd. Ac nid prudd-der diobaith ydoedd ychwaith, ond tristwch megys yn mesur y pellder o ddyfnder profedigaeth hyd at ffydd sefydlog yn yr Hwn sydd yn llywodraethu pobpeth. Darllenai lawer ar y Bibl a siaradai yn gysurus; ond gwyddwn fod hyny yn costio ymdrech mawr iddi.

Megys ar y dydd blaenorol, Thomas a Barbara Bartley oedd y rhai blaenaf i ddyfod i ymweled â ni; a theimlwn yn dra diolchgar iddynt am eu caredigrwydd. Fel y sylwais eisoes, dau hen ben syml ddiniwed oeddynt. Ymddangosent i mi bob amser yn hynod o hapus. Heblaw eu bod yn ŵr a gwraig cymharus, yr oedd tebygrwydd prydwedd a meddwl efeilliaid ynddynt. Pa beth bynag a ddywedai Thomas, yr oedd Barbara yn ei gadarnhâu gyda nog ei phen; a pha beth bynag a ddywedai Barbara, yr oedd Thomas yn ei selio gyda'i "twbi shwar." Yr oeddynt fel dau lygad ar yr un llinyn bob amser, yn edrych yr un ffordd. Bychan ydoedd cylch eu bywyd, a thua'r un faint oedd eu gwybodaeth. Planu hobed o datws, a lladd mochyn deng ugain o bwysau, oedd y ddau begwn ar ba rai y gwnai eu byd bychan ei gylchdro blynyddol. Yr oedd rhagluniaeth wrth barotoi rhaglen bywyd fel pe buasai wedi anghofio rhoddi profedigaeth ar gyfer enwau Thomas a Barbara Bartley, gyda'r eithriad o farwolaeth eu mab Seth; ac ymddangosai hwnw fel camgymeriad, a thrôdd allan yn y diwedd i berffeithio eu hapusrwydd. Yr oedd enw uchel i Thomas fel trwsiwr esgidiau, ac ni byddai byth yn brin o waith. Ystyrid ef hefyd yn gymydog rhagorol. Nid oedd yn llwyrymwrthodwr, ac ni byddai byth yn meddwi oddieithr ar adegau neillduol, megys ar ddydd Llun y Sulgwyn, pan fyddai ei glwb yn cerdded. Ond hyd yn nôd yn yr amgylchiadau hyny, ni addefai Barbara fod Thomas wedi meddwi, ond yn unig ei fod wedi "cael dropyn." Credai y ddau fod ganddynt galonau da, ac fod byw yn onest yn llawn ddigon o grefydd. A diammheu eu bod yn byw i fyny â'u proffes; oblegid ni chlybuwyd i Thomas na Barbara wneyd cam â gwr yn ei fater, nac i'r blaenaf roddi gwaith anonest ar esgid. Ond nid gonestrwydd manwl ac oer oedd yr eiddynt hwy ychwaith. Nid oedd neb mor barod i wneyd cymwynasau, am y rhai, y mae yn debygol, y cymerent gredyd fel *works of supererogation*. Wrth fyned heibio, rhaid i mi addef fy mod yn ystod fy oes fer wedi cyfarfod âg amryw o honiadau uwch a mwy ysbrydol y buasai yn dda iddynt ddyfod i fyny â chrefydd Thomas a Barbara. Ond hyn oeddwn ar fedr ei ddyweyd—daeth y ddau hen ben i ymweled â ni yn ein profedigaeth, a chafwyd ymgom faith—rhy faith i mi ei hadrodd. Gwasanaethed yr ychydig eiriau canlynol fel esiampl o'r oll. Wedi iddynt eistedd i lawr, ebe Thomas—

"Wel, Mary Lewis, rydach ch'i mewn tipyn o helynt, on'd ydach ch'i? a mae'n ddrwg gan y nghalon i drostoch ch'i!" Rhoddodd Barbara nog, ystyr yr hwn oedd *ditto*.

"Mi rydw i felly, Tomos bach," ebe fy mam, "ac yr ydw i'n ddiolchgar iawn i chi am eich cydymdeimlad. Mae ei ffyrdd Ef yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd mawrion. Cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch Ef—ond Efe sydd yn gwybod ——."

"Hoswch, hoswch, Mary bach," ebe Thomas, "rydach ch'n misio rwan. On'd i'r *jail* y mae Bob druan wedi myn'd. Dydi o ddim wedi myn'd dros y môr at ol—dydi o ddim wedi 'i dransportio. Rydach chi â'ch pen yn y twll lludw yn y fan 'ma, ac yn meddwl fod pethe yn waeth nag ydyn nhw. Cato pawb! da'th y bachgen ddim yn agos i'r môr."

"Mi wn hyny yn burion, Tomos; son yr ydw i am lywodraeth y Brenin Mawr ar y byd a'i amgylchiade," ebe fy mam.

"Ho! deydwch chi hyny, Mary, ebe Thomas. "Dydi Barbara na mine ddim yn gallu darllen, ac felly dydan ni'n gwbod fawr i gyd am y Brenin Mawr; a deyd y gwir i chi, fyddwn ni byth yn sôn am dano fo ond ar siawns pan fydd rhwfun wedi marw ne wedi cael ei ladd, rhag i ni neyd *mistake*, wyddoch." Nogiodd Barbara ei phen i arwyddo mai gwir a ddywedai ei phriod.

"Mae'n ddrwg gen i glywed hyny, Tomos," ebe fy mam; "fe ddyle pawb o honon ni feddwl a sôn llawer am y Brenin Mawr, gan mai ynddo Ef yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bod. Fel hyn yr oedd y Salmydd yn deyd, Tomos, 'Bydd melus fy myfyrdod am dano.' Ac mewn lle arall medde fo,—'Hwyr a bore, a hanner dydd y gweddiaf a byddaf daer, ac efe a glyw fy lleferydd.' A bydae nine yn debycach i'r Salmydd mi fydden yn nês i'n lle, Tomos bach."

"Wel yn wir-ionedd, Mary, mae Barbara a mine yn trio byw mor agos byth i'n lle ag y medrwn ni, on'd ydan ni, Barbara?" Rhoddodd Barbara nog o gadarnhâd.

"Mi wn eich bod felly o ran byw yn onest a disôn-am-danoch," ebe fy mam. "Ond y mae crefydd yn ein dysgu ni fod eisio rhwbeth mwy na hyny cyn yr awn ni i mewn i'r bywyd, Tomos bach."

"Wel, be well fedrwn ni neyd, Mary, na byw yn onest? Mae gen i galon dda, mi gymra fy llw, a mae'n well gen i neyd

cymwynas na pheidio, os bydd o yn y ngallu i—on'd ydi, Barbara? (Nog.) A fydda i byth yn dal dig at neb, a fydda i, Barbara? (Nog.) Ac am grefydd, rydw i'n ych gwel'd chi y crefyddwrs yma yn waeth ych *off* na neb. Dyma chi, Mary, rydach chi'n proffesu er's pan ydw i'n ych cofio chi, a bob amser yn son am grefydd, a'r Brenin Mawr a'r byd arall a phethe felly; a phwy sydd wedi cael mwy o flinder na chi? Mi fase rhwfun yn meddwl fod chi wedi cael digon o flinder hefoch gŵr—a dyma chi eto mewn helynt dros ych pen a'ch clustie. A dene Bob—un o'r bechgyn clenia a wisgodd *flucher* erioed—pan ddoe o acw i gael trwsio 'i sgidie roedd o o bob amser yn son am grefydd—a dene fo heddyw yn waeth ei *off* na neb. Mi fum i'n deyd wrth Bob—os peth fel ene ydi crefydd—nad ydw i ddim yn dallt y Brenin Mawr at ol. Rydw i yn eich gweled chi'n wastad mewn helbul â'ch pene yn ych ply'."

"Dydi crefydd ddim yn addaw cadw dyn rhag profedigaethau, Tomos," ebe fy mam, "ac wn i ddim nad oes tipyn o wir yn y peth yr ydach chi'n ddeyd—fod crefyddwyr yn cael mwy o helyntion na phobl eraill. 'Ti, yr hwn a wnaethost i mi weled aml a blin gystuddiau,' medde'r Salmydd. 'Yn y byd gorthrymder a gewch,' medde'r Gwaredwr. Ac y mae Paul, yn yr Actau, yn deyd mai 'trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i mewn i deyrnas Dduw.' Y pwnc mawr i chi a mine, Tomos, ydi fod y gorthrymderau yn ein sancteiddio ni, a gallu cydnabod llaw'r Arglwydd ynddynt oll, a pheidio gadael i'n hysbrydoedd syrthio i ormod tristwch."

"Mae nhw'n deyd i mi, Mary," ebe Thomas, "nad oes dim byd gwell i godi sbrydoedd na—be ma nhw'n i alw fo—y peth y mae nhw yn werthu yn shop y drygist—be ydi euw fo, Barbara?"

"Asiffeta," ebe Barbara.

"Twbi shwar," ebe Thomas, "Bydae chi'n cael cnegwarth o siffeta, cnegwarth o ddrops y cryd melyn, a chnegwarth o denti riwbob, does dim byd well i godi sbrydoedd, meddan nhw, Mary. Ddaru mi rioed i dreio fo fy hun—cymyd dropyn o ddiod ddaru mi yn yr helynt hefo Seth, a mi nâth les mawr i mi—roeddwn i'n gallu crio yn well o lawer, a synwn i ddim na nae o les i chithe, Mary. Roedd Barbara eisio dwad efo dropyn yn 'i phoced i chi; ond roeddwn i'n deyd wrthi hi na chymech chi mono fo—rydach chi y crefyddwrs yma mor od hefo pethe felly."

"Yr ydw i yn gobeithio, Tomos," ebe fy mam, "fy mod erbyn hyn yn gwbod am well resêt i godi sbrydoedd na dim ag sydd yn cael ei werthu yn siop y drygist nac yn y dafarn. Yn 'y meddwl i, Tomos, does dim ond y triagl o Gilead ac eli o Galfaria a all godi ysbryd cystuddiedig."

"Siwr iawn, gobeithio na dydi o ddim yn ddrud—nid 'run peth neiff fendis pawb—mi fydda i'n wastad yn deyd hyny, mae Barbara yn gwbod," ebe Thomas.

"Dydach chi ddim yn 'y nallt i, Tomos," ebe fy mam—"y peth ydw i yn 'i feddwl ydi hyn—mai'r unig beth all godi ysbryd cystuddiedig ydyw addewidion gwerthfawr a melus y Bibl—adnabyddiaeth o Dduw yn Nghrist yn cymmodi'r byd âg ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau—ac ymorphwysiad yr enaid ar angeu drud pen Calfaria. A mi fase yn dda iawn gen i bydase marwolaeth Seth wedi'ch arwain chi a Barbara i ddyfod i sŵn yr efengyl, ac i geisio cysur yn 'i gwirioneddau hi, ac nid i geisio boddi eich teimlade gyda'r ddiod feddwol a diles, Tomos bach."

"Wyddoch chi be, Mary?" ebe Thomas, "bydase chi'n hapno bod yn perthyn i'r *Ranters*, mi fasech yn gneyd *champion* o bregethwr. Ond dydw i ddim yn cydweled â chi ar y ddiod. Mi wn bod chi'n gwbod mwy na fi, Mary; ond ydi'r Bibl ddim yn 'i galw hi yn ddiod gadarn?"

"Ydi siwr, Tomos," ebe fy mam.

"Felly roedd James Pwlfford yn deyd; a fase'r Bibl byth yn i galw hi yn ddiod gadarn bydase hi ddim yn nerthu dyn,' ebe Thomas.

"Mae hi yn ddigon cadarn i'ch taflu chi i lawr, Tomos, os na chymwch ofal mawr," ebe fy mam, ac ychwanegodd —"Mewn difri, Tomos bach, ydi Barbara a chithe bellach ddim yn dechre meddwl am fater eich hened? Rydach chi'n dechre myn'd i oed; a fydd arnoch chi ddim blys weithie dyfod i sŵn yr efengyl? ydach chi ddim yn meddwl fod yn hen bryd i chi'ch dau ymorol am y Cyfaill y bydd arnoch chi a fine ei eisio yn bur fuan bellach, neu fod yn druenus byth? Rydw i'n cymyd yn hy arnoch chi, ond mi wyddoch mai'ch lles chi sy gen i mewn golwg. Fy hen gymydogion caredig! mi fydda yn meddwl llawer am danoch chi, ac yn trio gweddio trosoch chi. Mor dda y mae y Brenin Mawr wedi bod wrthoch chi! Mor iach, mor hapus, ac mor gefnog yr ydach chi wedi bod ar hyd y blynyddoedd! Oni fydd o yn biti mawr, Tomos bach, i chi'ch dau fod yn ol yn y diwedd? Mi leiciech, mi wn, weled Seth unwaith eto, a bod hefo fo byth. Wel does dim dowt ar 'y meddwl i nad ydi Seth yn nghanol y nefoedd. 'Pe byddent ynfydion ni chyfeiliornant.' Rydach chi'n cofio be ddeydodd o pan oedd o'n marw wrth y bachgen yma—'fod o'n myn'd ymhell, ymhell, i gapel mawr Iesu Grist?' Ac mi âth yno yn siwr i chi. Ond yr oedd

Seth yn dwad i'r capel, Tomos,—fydde fo byth yn colli moddion, y ngwas gwirion i! Ac er ein bod ni yn ddisylw o hono fo, ac yn meddwl nad oedd o yn dallt dim, 'roedd Seth yn gneyd ei ffortun: mi gafodd hyd i'r perl gwerthfawr oedd yn werth ei fywyd iddo fo. Mae ene chwaneg o berlau, Tomos, yn yr un maes; ac y mae yn rhaid i chithe, fy nghymydogion anwyl, ddwad i foddion gras, neu mae gen i ofn na chewch chi byth fyn'd i'r un man â Seth."

Yr oedd y geiriau olaf o eiddo fy mam yn effeithio fel trydan ar Thomas a Barbara. Edrychai Thomas yn syn i'r twll lludw, a'i ddagrau mawrion yn rholio i lawr ei ruddiau, gan ddisgyn ar ei drowsers cord ysgleiniog. Barbara hithau a rwbiai ei thrwyn a'i llygaid gyda'i ffedog *check*, ac o'r braidd y gallai ymattal heb waeddi allan pan soniai fy mam am Seth yn marw. Gwelai fy mam fod yr haiarn yn boeth, a dechreuodd o ddifrif ddefnyddio hen ordd fawr yr Ysgrythyr gyda'r deheurwydd hwnw yr oedd hi mor fedrus arno. Ac i mi ddilyn y gymhariaeth, troai galonau y ddau bob ffordd ar ei heingion; a thybiwn nad oedd ochr na gwedd arnynt heb fod fy mam wedi tynu gwreichion byw allan o honynt. Nid am ei bod yn fam i mi yr wyf yn dyweyd hyny; ac nid ydwyf yn arfer gormodiaeth wrth dystio na welais moboni erioed, os gwelai hi fantais i roddi gair o gynghor neu adnod o'r Bibl i rai yr ofnai eu bod yn ddigrefydd, yn gadael i'r cyfleusdra fyned heibio. Megys yn yr amgylchiad hwn, anghofiai ei helyntion ei hunan yn ei hawydd i ddyweyd rhyw air tebyg o lynu yn nghydwybod a chalon rhywun a dybiai hi "yn anystyriol am fater ei enaid," chwedl hithau. Wrth i mi ystyried mor esgeulus yr wyf fi fy hun yn y peth hwn, bydd arnaf gywilydd cofio fy mod yn fab fy mam.

Gwelwn er ys meityn fod Thomas yn anesmwyth iawn, ac yn awyddus am fyned ymaith, a chymerodd fy mam yr awgrym. Pan beidiodd hi efengylu, gollyngodd Thomas ochenaid drom, a chododd ar ei draed yn *nervous*; ac ebe efe gan hanner tagu,—

"Barbara, rhaid i ni fyned adre, wel di. Be sy gynat ti yn y fasged ene?" Tynodd Barbara ddarn brâf o facwn allan o'r fasged, ac estynodd ef i fy mam.

"*Champion* o stwff, Mary," ebe Thomas; "mae o wedi ei besgi ar datws a blawd haidd—chafodd o rioed soegyn. Peidiwch a son, peidiwch a son! mae i chi groeso calon o hono fo. Oes gynoch chi datws? Bydaech chi'n gyru Rhys acw fory, mi ro i chi dipyn o binge eis, gore ddaru chi rioed brofi—mae nhw yn fâl peilliod."

"Tomos bach," ebe fy mam, gan gydio yn *lappel* ei gob—"rydach chi bob amser yn ods o garedig; ond byddwch garedig wrth eich enaid. Newch chi addo dwad i'r capel y Sul nesa? Newch chi byth ddifaru."

Edrychodd Thomas ar lawr y tŷ; ac ar ol eiliad neu ddau o ddystawrwydd, ebe efe, "Mary, bydae y pregethwrs yn shiarad mor blaen a chi, mi ddown i'r capel bob Sul; ond deyd y gwir i chi, dydw i ddim yn 'u dallt nhw—mae nhw yn sôn am rwbeth na wn i ddim am be."

"Wnewch chi addo, Tomos bach, ddwad hefo Barbara i'r capel? mi ddaw y gole ond i chi ddwad," ebe fy mam, gan gydio yn dynach yn y *lappel*.

"Be'wt ti'n ddeyd, Barbara?" gofynai Thomas. Rhoddodd Barbara nog o gadarnhâd, ac ebe Thomas,

"Wel, yn eno dyn mi ddown. Nos dawch, a Duw fytho gyda chi."

Wedi iddynt fyned ymaith, a ddarfu i fy mam droi at y darn bacwn i'w ganmol? Na choelia i fawr! yr oedd wedi cael tamaid mwy blasus, ac ebe hi yn llawen, "Mi gwela hi, Rhys! mi gwela hi rwan! Mae Bob wedi cael ei roi yn *jail* i achub Thomas a Barbara Bartley! 'Mae ei ffyrdd Ef yn y môr, &c.'"

Wel, nid am Thomas a Barbara y bwriadwn sôn pan yn dechreu y bennod hon, a gwelaf nad eiddo gŵr ei ffordd gyda hyn, fel gyda phethau eraill.

---

DECHREUAD A CHYNNYDD METHODISTIAETH YN Y WAENFAWR, ARFON.

*Gan y Parch.* FRANCIS JONES, *Waenfawr.*

I.

FEL y dywedir yn *Methodistiaeth Cymru*, Cyfrol II., tu dal. 153, yr oedd "gan y Methodistiaid ryw achos bychan yn y fro hon yn fuan iawn ar ol cychwyniad Methodistiaeth yn Ngwynedd." Y mae yn ddiddadl mai Capel Uchaf, Clynnog, oedd y capel cyntaf a adeiladwyd gan y Methodistiaid yn Arfon; ond y mae yn ammheus pa un ai yno ai ynte yn y Waenfawr y dechreuwyd yr achos gyntaf. Ac y mae yn bosibl ddarfod dechre pregethu yn y ddau le uchod mor gynnar âg yn y Tŷ Mawr, Lleyn, lle yr adeiladwyd y capel Methodistaidd cyntaf yn yr ell o'r sir.

Dywed traddodiad y gymydogaeth y bu Howel Harris yma yn pregethu mewn lle a elwir y Bryngoleu yn ystod ei ymweliad cyntaf â Sir Gaernarfon yn 1741, ac mai dan ei weinidogaeth ef yn yr odfa hono yr argyhoeddwyd yr aelod cyntaf perthynol i'r Methodistiaid yn yr ardal hon, a'r hwn a fu, am dymmor o'r oes fer a ganiatäwyd iddo ar ol hyn, yn myned yr achlysurol o

amgylch y cymydogaethau cyfagos fel cynghorwr—Evan Dafydd, Hafod y rhug. Bu efe farw Ebrill 24, 1750, yn 45 mlwydd oed, ymhen naw mlynedd wedi yr ymweliad uchod o eiddo Howel Harris. Nid ymddengys fod doniau gweinidogaethol Evan Dafydd yn helaeth, ond yr oedd ei ffyddlondeb yn fawr. Llafuriodd yn wyneb llawer iawn o anhawsderau, yn enwedig oddiwrth ei wraig ei hun. Pan y bwriadai fyned y Sabboth dilynol allan i gynghori, byddai yn gorfod symud ei ddillad o'r tŷ yn lladradaidd rai o'r dyddiau blaenorol, i ryw un o'r adeiladau allanol perthynol i'r tyddyn. A phan yr ymwisgai ar fore y Sabboth, ac y gwnai ei ymddangosiad i hysbysu ei fod yn cychwyn, byddai yn rhywyr iddo ddianc ar ffrwst rhag yr ymosod a fyddai arno. Yn Hafod y rhug er hyny yr oedd y cartref goreu a feddai Methodistiaeth yn yr ardal hon ar y pryd; ac yma y bu y pregethu tra y bu byw Evan Dafydd.

Y mae yn bosibl fod pregethwyr Ymneillduol eraill wedi ymweled âg yma yn flaenorol i hyn. Yn Llandwrog, oddifewn ychydig filldiroedd o bellder oddiyma, y tybir y cartrefai y Parch. John Davies, yr hwn, yn ol geiriau Calamy, "a ddystäwyd" (ar yr adeg y trowyd allan o'u bywiolaethau fwy na dwy fil o weinidogion gan ddeddf Charles yr ail, ddydd gwyl Bartholomew, Awst, 24, 1662. Ac nid llawer pellach ydyw Llanarmon (Eifionydd) a Llangybi, lle yr oedd y ddwy eglwys Annibynol a sefydlwyd gan y gŵr da hwnw. Dichon a thebyg fod rhai o'r pregethwyr perthynol i'r eglwysi hyny wedi ymweled rywdro â'r ardal hon. Ond nid oes hanes am hyny. Yn wir, annuwiol, heb ynddynt "neb yn ceisio Duw," yr ymddengys fod yr holl amgylchoedd hyn hyd yr odfa a grybwyllwyd ar y Bryngoleu.

Wedi marw Evan Dafydd, symudodd y pregethu i dŷ mwy cyfleus i'r gymydogaeth, ac heb fod ymhell o'r lle yr adeiladwyd y capel arno wedi hyny, sef, Tŷ-ucha'r-ffordd. Tua'r un amser, neu ychydig cyn hyny, symudodd yma ŵr ieuanc crefyddol o'r enw Thomas Griffith, o Bandŷ Glynllifon, gwehydd wrth ei alwedigaeth. Priododd ferch Cae'r ysgubor—tyddyn bychan gerllaw. Ac efe a ddaeth yn nesaf yn nawdd i'r achos. Yr oedd ef yn ŵr ag oedd yn rhagori ar ei gymydogion mewn gallu yn gystal ag mewn duwioldeb. Sieryd Siôn Lleyn yn barchus iawn am dano yn ei "Fyfyrdod" ar ei gladdedigaeth.

"Ni bu ddoeth neb yn ei ddydd
Graffach na Thomas Gruffydd;
Ei ofal oedd ddyfal ddwys,
Mawr wiwglwm, am yr eglwys."

Arferai yntau yn achlysurol, fel Evan Dafydd, gynghori ychydig yn y ffordd o bregethu yn yr ardal hon ac ardaloedd eraill. Byddai yn myned yn awr ac eilwaith, medd y nodiadau yn *Methodistiaeth Cymru*, i làn y plwyf i addoli, er mwyn dangos trwy hyny nad oedd ganddo ddim gelyniaeth at yr Eglwys Wladol, a chan ddysgwyl y rhoddid llonyddwch gwell i'r crefyddwyr i addoli yn Tŷ-ucha'r-ffordd. Yn y llàn arferai gyfarfod yn fynych â rhyw rai oedd yn ei ddyled am nwyddau o'r siop fechan a gedwid ganddo. "Deallasai y bobl na dderbyniai Thomas Griffith ddim arian ar y Sabboth gan y rhai a fyddent yn ei ddyled, ac am hyny cymerent achlysur oddiwrth dynerwch ei gydwybod i'w yspeilio yn annheg o'i feddiannau. Wrth iddo ddyfod allan o'r eglwys, cynnygient daledigaeth iddo o'r swm dyledus; ac os gwrthodai yr arian, galwai y dyhiraid rywrai gerllaw yn dystion o hyny, a gommeddent dalu iddo byth mwy." Yr oedd yn arferiad gan lawer o'r crefyddwyr eraill fyned yr un modd i'r llàn ar foreu Sabboth. A phan yr erlidid hwy, yr hyn a wneid yn fynych ar ddiwedd yr addoliad, cilient i ochr mynydd y Cefndu, rhwng y Waenfawr a Llanberis; ac yno y byddent yn addoli am y Sabboth hwnw mewn lle a elwir Crug, neu Crugybrain.

Cartrefai Thomas Griffith mewn tŷ o'r enw Penybont, gerllaw Pont y Cyrnant. Yr oedd ffenestr ei weithdŷ yn wynebu y bont a'r brif-ffordd. Dywedir am Richard Tibbot o Lanbrynmair, pan yn myned trwy y lle, y byddai yn dechre canu wrth nesâu at dŷ Thomas Griffith, ac ar ei waith yntau yn ei glywed, y taflai y wenol a phobpeth o'i law i frysio i'w gyfarfod, gan ddyweyd, "Dyna Tibbot, 'rwy'n tybied." Bu Thomas Griffith farw Gorphenaf 5, 1781, yn 64 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Bettws Garmon.

Ni byddai hanes Methodistiaeth yn y Waenfawr yn gyflawn heb gyfeiriad at deulu Thomas Griffith. Mab iddo ef oedd y godidog fardd Dafydd Thomas o'r Waenfawr, neu Dafydd Ddu Eryri, y rhagoraf ar lawer cyfrif o holl feirdd ei oes. Efe oedd seren fore diwygiad moes beirdd Cymru. Ac i goethder ei chwaeth ac arddunedd ei ddoniau ef yr ydym yn ddyledus am y cynauaf toreithiog o awenyddion a gynnyrchodd Gwynedd. Er na chafodd ond ychydig o fanteision addysg, cyrhaeddodd trwy hunanddiwylliant raddau anrhydeddus fel ysgolaig. Heblaw llafurio mewn gwahanol gysylltiadau i gyfoethogi llenyddiaeth Gymreig, ysgrifenodd lawer i gyfnodolion Seisonig. Cadair a enillwyd ganddo mewn Eisteddfod yw "cadair y pregethwr" yn nhŷ y capel, Waenfawr, hyd heddyw. Aelod o Eglwys Loegr yr

ystyriai ef ei hun. Bu farw trwy foddi yn afon Cegin, Mawrth 30, 1822. Claddwyd ef yn Llanrug.—Mab arall iddo oedd John Thomas, a symudodd tua chanol ei oes i ardal Llanberis. Yr oedd efe yn bregethwr cymeradwy, ond hynod ofnus ac iselfryd. Bu am yspaid unwaith mor bruddglwyfus nes y mynai y dylasai y frawdoliaeth ei ddiarddel o'r eglwys. Ond yn yr agwedd meddwl hono gweddïai yn fynych am ganiatâd i garu yr Iesu byth, hyd yn nôd os byddai raid iddo fyned i uffern. Y Parch. John Elias, wrth *fygwth* ei ddiarddel, a'i hysgydwodd yn rhydd o'i rwymau. Ei hoff bennill ydoedd hwnw a gyfansoddwyd gan Williams o Bantycelyn, pan mewn pangfa o iselder ysbryd, dybygid:

"'Gwan yw fy ffydd, 'd oes ond ei bod,
Nis gwn a fu ei llai erioed;
A chan mor leied yw ei grym—
'Rwy 'n ofni 'n fawr nad yw hi 'n ddim."

Dylid enwi hefyd Humphrey Thomas, yr hwn oedd fab i Thomas Griffith, ond llai cyhoeddus na'i frodyr. Bu yn swyddog y dollfa yn Nghaergybi a Chaernarfon. Yr oedd yntau yn ŵr crefyddol ac yn llenor gwych. Merch i Thomas Griffith hefyd oedd Mary Thomas, a fu enwog am flynyddau lawer yn nhŷ y capel, o herwydd ei medr a'i hymroddiad i weini i'r pregethwyr a ddeuent yno i lettŷa. Cawn achlysur i ddwyn ei henw hi ger bron eto ar adeg ddiweddarach.

Cyn marw Thomas Griffith, caed ymgeleddwr grymus i'r achos crefyddol yn Tŷ-ucha'r-ffordd yn mherson "Thomas Evans y *Pregethwr*," i'w wahaniaethu oddiwrth y cynghorwyr llai eu dawn. Ganwyd ef yn Tai'r Ffynnon, yn mhlwyf Bangor. Symudodd i'r gymydogaeth hon, yn gyntaf i Gwyredog Uchaf, ac wedi hyny i Hafod oleu. Priododd ferch i Evan Dafydd, Hafod y rhug. "Yr oedd efe yn ŵr da, llawn o'r Ysbryd Glân ac o ffydd, a llawer o bobl a chwanegwyd i'r Arglwydd" trwyddo. Bu farw o'r darfodedigaeth, Medi 4, 1788, pan yn 46 mlwydd oed, a chladdwyd ef yn mynwent Llanbeblig. Temtir ni yma i roddi dyfyniad neu ddau o'r *Methodistiaeth Cymru* am y gŵr rhagorol hwn: "Yr oedd yn ymresymwr cadarn, ac yn gymeradwy iawn gan fyd ac eglwys. John Pierce, Robert Jones, ac yntau, oedd y tri blaenaf yn Nghyfarfodydd Misol y Sir gynt; and fe ddywed Robert Evans, gynt o Drefriw, yr hwn a'u hadwaenai hwynt yn dda, fod rhai pethau yn Thomas Evans yn rhagori ar y lleill. Yr oedd ei gynnydd mewn doniau a defnyddioldeb yn amlwg fel yr oedd yn addfedu i ogoniant. Un tro daeth taer wahoddiad i Thomas Evans ymweled â'i frodyr yn y Deheudir; yntau a betrusai gydsynio â'r cais, am nad oedd neb i gymeryd gofal yr achos bychan yn ei gartref. Hysbysodd ei betrusder yn y cyfarfod eglwysig; a dyma hen chwaer yn codi ac yn dyweyd, 'Ewch, ewch, Thomas bach, a rhoddwch lyfr i mi; minnau a osodaf ar lawr ynddo bob peth a ddygwyddo yma heb fod yn iawn: chwithau a gewch ei weled wedi y dychweloch yn ol.' Felly, yn ol cynghor yr hen chwaer, i'r Deheudir yr aeth am yspaid chwech wythnos. Ar ol ei ddyfodiad yn ol, galwyd yr eglwys at eu gilydd, modd y rhoddid cyfle i Thomas Evans adrodd hanes ei daith, ac i'r hen chwaer gyflwyno llyfr ei goruchwyliaeth hithau. Wedi adrodd ei hanes ei hun, gofynodd, 'Pa le y mae llyfr y beiau?' 'Dyma fo,' ebe yr hen chwaer, 'ni fu yma ddim o'i le—mae y llyfr yn *wŷn i gyd*.' 'Wel, yn wir,' ebe yntau, 'ni welais i un eglwys erioed o'r blaen ar y ddaear, ac ni ddarllenais am yr un, wedi bod chwech wythnos o amser heb bechu. Yn hyn yr ydych wedi tra rhagori arnaf fi.'"

Meibion iddo ef, ac a fagwyd ar fronau yr eglwys fechan yn Ty-ucha'r-ffordd, oeddynt y gwŷr ieuainc hynod John ac Evan Evans. Yn y flwyddyn 1790, tan ysbryd cenadol, gadawodd John Evans ei gartref gyda'r bwriad o fyned i efengylu i'w gydgenedl, hiliogaeth Madog ab Owain Gwynedd a'i ganlynwyr, *y tybid y pryd hwnw* iddynt fyned drosodd i America yn 1170, a'u bod yn trigo dan yr enw Madogwys, ymhlith Indiaid gogledd y wlad hono. Cyrhaeddodd Baltimore yn ddiogel, ac mewn llythyr a ysgrifenodd at ei frawd oddiyno, dyddiedig Dygwyl Stephan, 1792, dywed,—"Yr ydwyf yn meddwl mai fy nyledswydd yw gogoneddu enw Iesu, os gallaf, trwy agor drws i'r efengyl dragywyddol fyned i blith y trueiniaid hyn, fy mrodyr; am hyny yr ydwyf wedi offrymu fy mywyd i waith yr Arglwydd, gan ymddiried y gofala efe am danaf." Ymdrechodd yn galed i ddyfod o hyd i'r sawl nad oeddynt i'w cael, gan lafurio i'w gynnal ei hun yr un pryd. Ar ol iddo gael ei garcharu unwaith gan yr Yspaeniaid fel un y drwgdybid ei amcaniad, perswadiwyd hwy gan foneddwr Americanaidd, nid yn unig i'w ryddhâu ond hefyd ganiatâu iddo *bassport* yn Yspaenaeg, Ffrancaeg a Saesoneg. Bernid y pryd hyny fod yr Indiaid Cymreig yn preswylio ar yr afon Missouri. Esgynodd yntau y Missouri gyda'r trafnidwyr Indiaidd yn 1795. Dilynodd yr afon hono am 1600 o filldiroedd, ac yna dychwelodd i St. Louis. Cymhellid ef gan y swyddog Yspaenaidd i fyned yr ail waith; ond bu farw o dwymyn yn St. Louis, yn 1797, pan ar fedr ail gychwyn. Ceir rhagor o'i hanes yn y *Cambrian Register*, I. 380.

Dechreuodd Evan Evans bregethu cyn

hir wedi i'w frawd John fyned allan yn genadwr. Adroddir fod ei gymhwysderau i'r weinidogaeth yn ddysglaer iawn; ac arddelwyd ef yn neillduol lawer gwaith. Sonir am un odfa hynod iddo mewn lle o'r enw Aber-fach-awyr. Cynnelid hi yn yr awyr agored. Ar ganol yr odfa duodd yr wybr gan gymylau, a disgynodd gwlaw trwm ar y bobl. Ar hyn gweddïodd y pregethwr, gan ddyweyd, "O Arglwydd, Creawdwr a Llywodraethwr pob peth, dyro seibiant am ychydig amser i gynghori hyn o bobl sydd â'u hwynebau ar y byd tragywyddol." Yn y fan attaliwyd y gwlaw. Wedi bod yn pregethu am ychydig flynyddau gyda grymusder mawr, "gostyngwyd ei nerth ar y ffordd." Ymosodwyd arno gan anhwyl yn ei droed. Symudodd i ardal Llanidloes, a bu yno am flwyddyn yn ceisio gwellhâd, ond yn ofer. Yno y bu farw, yn yr oedran cynnar o 24 mlwydd, Chwef. 27, 1797—yr un flwyddyn ag y bu farw ei frawd anffodus yn America.

Cyn gadael hanes yr achos tra y bu yn cartrefu yn Tŷ ucha'r-ffordd, y mae ffaith neu ddwy ynglŷn â'r erlidiadau a fu arno y dylid eu crybwyll. Un o'r erlidwyr chwerwaf am yspaid oedd gŵr o'r enw William Williams, Llwynbedw—tyddyn gerllaw. Yr oedd y gŵr hwn yn wrthwynebol iawn i'w wraig ymuno â'r "Penaucryniaid." Un diwrnod, ar ei ffordd i Gaernarfon, mewn lle a elwir Penycefn, dygwyddodd iddo fyned i ymrafaelio ac ymladd âg un o'i gymydogion. Yn y cyfamser daeth gŵr dyeithr iddynt heibio, yn waed ac archollion, ac wedi rhwymo ei ben; a gofynodd iddynt a wnaent gofio y tri gair—*Angeu, Barn,* a *Thragywyddoldeb.* Pregethwr oedd y gŵr dyeithr, wedi cael ei faeddu yn dost am gynnyg pregethu yn y Bontnewydd, ac yn myned heibio ar ei ffordd i Lanberis. Wedi iddo ymadael, gofynai y naill i'r llall, "Pwy oedd y gwalch yna a siaradai mor grefyddol? Y mae ôl ymladd arno yntau." Modd bynag, yr oedd y *tri gair* wedi cymeryd gafael ddi-droi yn ol yn nghydwybod William Williams. Nid aeth yn nebpell o'r fan nad oedd dychrynfeydd Duw wedi ei ddal. Yr oedd daroganau arswydus yn terfysgu ei fynwes; a'r unig beth y gallai feddwl am dano oedd pa beth a wnai fel y byddai cadwedig. Dychwelodd o'r dref heb wneyd ei neges, ac nid yn feddw, fel yr oedd yn arfer, ond yn berffaith sobr. Y noson hono ar ei ddychweliad adref gofynai i'w wraig, ai nid oedd hi ar fedr myned i'r cyfarfod eglwysig. Effaith gyntaf ei gwestiwn arni oedd ei brawychu, gan dybio ei fod yn ceisio achlysur ymosodiad arni hi a'i chydgrefyddwyr. Mawr oedd ei syndod a'i diolchgarwch pan y deallodd agwedd ei feddwl. O hyny allan buont fel Zacharïas ac Elisabeth, "ill dau yn gyfiawn ger bron Duw, yn rhodio yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd."

Un tro aflonyddwyd ar odfa tra yr oedd y pregethwr ar ganol ei bregeth, gan waith dyn yn dyfod yn hyf i'r tŷ a gorchymyn i'r pregethwr dewi. Hyny ni wnai yntau ar unwaith; ond gan fod yr aflonyddwr yn myned yn hyfach, disgynodd yn dawel o'r fan y safai. Ni wyddys enw y pregethwr; ond yn ffodus yr oedd yn ŵr cryf o ewynau ac o feddwl. Ymaflodd yn yr ymosodwr, gan ei wasgu yn egniol yn erbyn cist gref oedd gerllaw. Teimlai y llwfrddyn bellach mai "i ychydig yr oedd ymarfer corfforol yn fuddiol," a llefai, "A wyddoch chwi gwas i bwy ydwyf?" "Gwn o'r goreu," atebai y pregethwr, "mai gwas y cythraul ydwyt, ac nid oes arnaf ddim o dy ofn di na dy feistr." Cyn ei ollwng bu raid iddo addaw na byddai iddo byth mwy aflonyddu ar gynnulleidfa yn addoli. Wedi ei ryddhâu, diangodd o'r lle mor llechwraidd a chyflym ag y gallai, ac aeth y pregethwr ymlaen gyda'i bregeth fel pe na buasai dim anghyffredin wedi cymeryd lle.

Dichon y sylwa y cyfarwydd fod llawer o'r hyn a adroddir genym wedi ei gyhoeddi eisoes yma a thraw mewn gwahanol lyfrau a chyfnodolion. Y mae hyny yn wir; ond tybiwn fod casglu ynghyd hanes eglwys yn meddu *y fath* hanes yn amcan o werth. Heblaw hyny, ceir yn y colofnau blaenorol lawer o fanylion newyddion wedi eu chwanegu, ac amryfuseddau mewn dyddiadau a ffeithiau wedi eu cywiro. Yn y gweddill o'r hanes ceir llawer o gynorthwy oddiwrth adgofion a ysgrifenwyd oddiar wefus un o hen ddiaconiaid yr eglwys—Mr. John Owen, Cae Steel, yr hwn a fu farw Rhagfyr yr 2il, 1878.

---

## ADGOFION MEBYD O'R ABERMAW.

Barchedig Olygydd,—Y mae adgofion fy mebyd ynglŷn â gweithgarwch crefyddol hen frodyr perthynol i'r gwahanol enwadau yn Abermaw yn adeg y diwygiad mawr Dirwestol yn fywiog ar fy nghof.

Cyfnod gogoneddus ydoedd hwnw yn Abermaw. Peth dyeithr a hyfryd iawn y pryd hwnw oedd gweled y gwahanol lwythau enwadol yn un frawdoliaeth gref yn nghwlwm cariad ar y maes, wedi ymfyddino i gydymosod ac erlyn y gelyn meddwdod. Cafwyd yspail fawr o afaelion y gelyn yn yr ymosodiad bythgofiadwy hwnw, llawer o ba rai sydd yn aros yn Abermaw a'i amgylchoedd hyd y dydd heddyw. Ond y mae yr hen gadfridogion dewrion perthynol i'r gwahanol lwythau yr amser da

hwnw yn gorphwys oddiwrth eu llafur er ys llawer blwyddyn. Gellir dyweyd nad ydyw olion eu dydd, yn eu hymdrechion moesol a chrefyddol, wedi eu dilëu oddiar y dreflan a'r gymydogaeth, er cymaint o gyfnewidiadau sydd wedi cymeryd lle ynddi yn ei holl gysylltiadau. Diammheu fod y diwygiad moesol ac effeithiol y cyfnod a nodwyd yn ennill ei nerth er dwysbâu yr argraff yn uniad brawdol y gwahanol enwadau â'u gilydd yn yr ymdrech.

Cof genyf am yr Emynau a'r Salmau a roddid i'w canu yn y cyfarfodydd ymunol a dymunol hyn. Mynych y rhoddid y Salm ganlynol i'w chanu :—

"Wele, fod brodyr yn byw ynghyd,
Mor dda, mor hyfryd ydoedd!
Tebyg i olew o fawr werth,
Mor brydferth ar y gwisgoedd.'

Yr ydwyf hefyd yn cofio y diweddar Barch. Evan Evans, gweinidog yr Annibynwyr yn Abermaw y pryd hwnw, ac o Langollen wedi hyny, yr hwn ydoedd ŵr cariadlawn ac a berchid gan bawb, yn rhoddi cymhelliad i Mr. Moses Ellis, un o flaenoriaid y Methodistiaid, gyfansoddi ychydig o emynau i'w canu yn y cyfarfodydd hyn. Fel y canlyn y cyfansoddodd ef ddau bennill; o herwydd nid wyf yn cofio ychwaneg; ac y mae argraff ar fy meddwl byth am y canu gwresog ydoedd arnynt gan y gwahanol enwadau :—

"Pur ysbryd hedd a chariad dwys
Trwy 'r eglwys beraroglo,
A doed pob pleidiol zel i lawr,
A'r Iesu yn fawr a fyddo.

"Yr amser sydd yn nesu yn awr
Daw tyrfa fawr i'r eglwys,
Ac yna bydd ein daear ni
Yn debyg i baradwys."

Dywedaf finnau yn niwedd fy adgof byr, Amen, felly y byddo.

TIMOTHEUS.

*Pantsinion.*

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

DIARHEBION xxvii. 8: "Gŵr yn ymdaith o'i le ei hun sydd debyg i aderyn yn cilio o'i nŷth."

TYBYGID mai y cyfieithiad mwyaf llythyrenol ydyw, "Megys aderyn yn crwydro o'i nyth, felly y mae gŵr yn crwydro o'i gartref." Nid yr aderyn yn ehedeg yn achlysurol neu am ychydig enyd o'r nyth, a olygir yma, ond cilio o'r lle profedig am gynhesrwydd, neillduaeth, a diogelwch, am rywle ansicr ac anniogel i fod ynddo.

Mae yma wers i bob penteulu. Lle pob gŵr yn benodol yw ei gartref. Yno y dylai fod nid yn unig yn mwynhâu cysur ei hun, ond yn gwneyd ei deulu yn gysurus. Y dyn sydd heb deimlo yn gartrefol gartref, ac yn fwy boddhäol ymhob man arall,—rhaid ei fod yn greadur anghall ac annedwydd; a pha fodd y gall plant y cyfryw un gael iawn ddygiad i fyny? A pha beth am fam segur a gwagsiaradus sydd, yn lle gwarchod gartref, yn rhodio oddiamgylch o dŷ i dŷ? Tebyg ydyw i iâr yn gadael ei nyth, pryd y dylai eistedd ar yr wyau, ac yn eu gadael i fyned yn ofer.

Gellir cymhwyso hyn hefyd mewn ystyr ëangach, at y sefyllfa y gosodir dyn ynddi gan Ragluniaeth. Mewn amryw amgylchiadau, rhaid addef fod cyfnewidiad, neu symudiad, nid yn unig yn gyfreithlawn, eithr yn ofynol ac anghenrheidiol; ond yr hyn y dywedir yn ei erbyn yw meddwl anwadal, tueddfryd i grwydro a threio rhywbeth newydd yn wastadol. Dyna'r dyn yn myned i le neu at orchwyl o'r newydd, gan ymddangos ei fod wedi cyrhaedd ei nôd terfynol; ond buan y mae yn blino; nid yw yn cael cyfaddas der iddo ef ynddo. Ac y mae yn gwneyd cyfnewidiad drachefn, ac yn foddhäol iawn dros ryw amser. Ond yn fuan mae eilwaith yn blino ar hyny, heb wneuthur treial teg ar unpeth. Bywyd diles iddo ei hun, ac i bawb eraill, yw bywyd y cyfryw un.

Cymhwyser y geiriau ymhellach at grwydriaid crefyddol neu eglwysig. Dysgwylir fod gan bob cristion, fel addolwr Duw, "ei le ei hun," cartref ei galon, lle y mae yn caru trigo. Ond ceir rhywrai â'u "clustiau yn merwino"—yn awyddus am newydd-deb a newidiad ac amrywiaeth, yn crwydro o'r naill addoldŷ i'r llall, pregeth yma a phregeth acw. Adar ydynt yn crwydro o'u nyth, heb fod yn wir dda i ddim mac i neb.

---

ACTAU xx. 10: "Ond nyni a aethom o'r blaen i'r llong, ac a hwyliasom i Assos, ar fedr oddiyno dderbyn Paul; canys felly yr oedd efe wedi ordeinio, ar fedr myned ei hunan ar draed."

NI a welwn yma, yn gyntaf, fod gan Paul *feddwl*, neu fryd, *o'r eiddo ei hun*. Mae'r gair "ordeinio," neu benodi, yn arwyddo ei fod wedi cymeryd dan ystyriaeth drwyadl yr hyn yr oedd yn myned i'w wneyd, a'r ymadrodd "ar fedr," ei fod wedi dyfod i gwbl benderfyniad at y mater. Mae yn debyg y gwnaed ymgais gan yr eglwys yn Troas, a chan ei gyfei-

deithion neillduol, ar y dechre, iddo ef ddyfod gyda hwy, neu hwy fyned gydag ef. Ond yr oedd efe wedi gwneyd ei feddwl i fyny, ac yn penderfynu gwneyd yn ol hyny. Yr oedd meddwl drosto ei hun yn egwyddor sylfaenol gyda'r Apostol. Paham y byddai am weled gyda llygaid dyn arall pan yr oedd ganddo lygaid ei hun? Paham y clywai gyda chlustiau dyn arall, y gweithiai gyda dwylaw dyn arall, ac y cerddai gyda thraed dyn arall, pan yr oedd ganddo glustiau, dwylaw, a thraed o'r eiddo ei hun? A phaham y cymerai ei syniadau oddiwrth ymresymiadau pobl eraill pan yr oedd ganddo alluoedd ymresymiadol o'r eiddo ei hun? Hyd yn nôd y dadguddiedigaethau a gawn oddiwrth Dduw, rhaid i ni eu derbyn i'n meddyliau ein hunain—i'n hystyriaethau a'n rhesymau—tuag at iddynt fod yn eiddom ni. Fel yr oedd Paul yn meddwl drosto ei hun, felly yr oedd ganddo nodweddiad o'r eiddo ei hun, yr hwn yn ei holl amlygiadau oedd yn gyson âg efe ei hun. Mae yn dda i ni yn fynych gael meddyliau rhai eraill; ond meddyliau rhai eraill a fyddant byth hyd nes y delont drwy ein hadfyfyrdod a'n syniad cymeradwyol yn eiddo i ni ein hunain.

Ac yr oedd Paul nid yn unig yn meddwl drosto ei hun, ond yn caniatâu i eraill feddwl drostynt eu hunain. Yr oedd efe yn rhydd oddiwrth bob arglwyddiaeth offeiriadol ac uchel ymhoniad eglwysyddol, gan appelio at ddynion fel creaduriaid rhesymol. "Meddyliwch am y pethau hyn. Dywedyd yr wyf fel wrth rai synwyrol; bernwch chwi beth yr wyf yn ei ddywedyd." Yn lle tramgwyddo wrth y Berëaid am beidio derbyn ei dystiolaeth ef heb ymchwilio dim iddi, yr oedd yn dda ganddo eu gweled yn dangos eu boneddigeiddrwydd, yn eu gwaith yn "chwilio beunydd yr Ysgrythyrau a oedd y pethau hyn felly." Gwelir fod Paul ymhell ymlaen ar yr oes hono yn yr egwyddorion mawrion Protestanaidd ac Anghydffurfiol hyn. Ymha le y cafodd efe hwy? Nid, yn sicr, oddiwrth ei athraw Gamaliel, nac oddiwrth ddysgedigion ei oes a'i genedl; o herwydd, fel ffrwyth ei astudiaethau gynt, yr oedd efe yn un o'r Phariseaid mwyaf rhagfarnllyd ac anffaeledig ei dyb, ac yn ynfydu fel un cynddeiriog yn erbyn y rhai a feiddient wahaniaethu mewn barn oddiwrtho ef. Efe a dderbyniodd ei athrawiaeth efengylaidd a'i egwyddorion rhyddfrydig "nid gan ddyn, eithr trwy ddadguddiad Iesu Grist." Taflodd ymaith arfau cnawdol gorthrech ac erlidigaeth, ac a gymerodd i fyny gleddyf yr Ysbryd, yr hwn yw gair Duw. Ei iaith pan yn dysgu arall oedd, "Ystyria yr hyn yr ydwyf yn ei ddywedyd; a'r Arglwydd a roddo i ti ddeall ymhob peth." Yr oedd gan Paul fwy gwybodaeth o'r efengyl na neb arall yn ei oes, a chan hyny yr oedd yn dangos mwy o ddynoliaeth mewn rhyddid barn.

Bregethwyr ieuainc, byddwch yn hyn fel Paul. Na adewch i eraill feddwl drosoch yn lle meddwl drosoch eich hunain. Cymerwch i mewn eu meddyliau, a throwch a throswch hwy yn eich ymresymiadau eich hunain, cyn eu defnyddio fel yr eiddoch eich hun. Nis gellwch daflu eich holl eneidiau i *ideas* pobl eraill. Rhaid i chwi feddwl drosoch eich hunain os mynech deimlo drosoch eich hunain. Gwrandewch ar syniadau pobl eraill, ond mynwch fod yn sicr yn eich meddwl eich hun.

Yn ail, yr oedd Paul *yn wastad yn un oedd ar fyned.* Felly y dengys y testun a'r cyd-destun. Gwelwn yn y bennod hon ei fod yn myned o Ephesus i Macedonia; "ac wedi iddo fyned dros y parthau hyny —efe a ddaeth i dir Groeg; ac wedi aros yno dri mis, efe a ddychwelodd i Macedonia." Oddiyno efe a hwyliodd i Troas, lle yr arosodd saith niwrnod, yn myned o dŷ i dŷ, yn pregethu mewn goruwchystafelloedd, gan barhâu yn ymadroddi hyd hanner nos, a dal i ymddyddan hyd doriad y dydd; "felly efe a aeth ymaith." Ymaith i orphwyso a chysgu, dybygid! Nage! Wele efe ar yr un bore ar y ffordd i Assos, yn cymeryd taith oddeutu ugain milldir ar ei draed. I orphwys yno! Nage ddim, ond i fyned gyda ei gyfeillion ar fwrdd llestr i Mitylene, a dyfod dranoeth gyferbyn â Chios, a thirio y diwrnod nesaf yn Samos, ac aros yn Trogylium, a myned y diwrnod drachefn i Miletus, o ba le yr anfonodd i Ephesus am henuriaid yr eglwys yno, gan ffarwelio â hwy ynglŷn â chyfarchiad a chyfarfod gweddi ar lân y môr. Mae'r bennod nesaf eto yn llefaru am dano fel un ar fyned—yn myned o hyd. Aeth yn uniongyrchol i Coos, a'r dydd canlynol i Rhodes, oddiyno i Patara, gan hwylio i Syria, a thirio yn Tyrus, lle yr oedd y llong i ddadlwytho; ac wedi aros yno saith niwrnod, a chadw cyfarfodydd gyda brodyr cristionogol, hwyliodd oddiyno i Ptolemais, a thrannoeth ymadawodd i fyned i Cesarea, ac oddiyno yr aeth i Jerusalem.

Myned, myned gan Paul oedd, myned ymlaen gyda'i waith; a gwaith oedd hwnw dros Grist, a throsto ef yn unig; "y weinidogaeth," medd efe, "a dderbyniodd gan yr Arglwydd Iesu, i dystiolaethu efengyl gras Duw." Yr oedd efe o gyfansoddiad naturiol yn ŵr o fywiogrwydd ac ymadferth mawr. I hyn yr oedd yn ddyledus am ei arbenigrwydd, yn gyntaf fel erlidiwr, ac wedi hyny fel pregethwr y ffydd hono gynt a anrheithiasai. Yr

oedd nid yn unig yn un o amaethiad da, ond yn un â *myned* ynddo yn barhâus; ac ni buasai ei ddoniau mawrion o nemawr werth heb hyny. Y dynion bywiog, ymroddgar, yw y rhai sydd yn llwyddo gyda phob gorchwyl, mewn byd ac eglwys. Felly yn enwedig y dylai fod gweinidogion yr efengyl. Dylai gweinidog fod yn wastad wrth ei waith. Mae ei astudgell, ei ystafell ddirgel, ei bulpud, ei eglwys a'i gynnulleidfa, ei enwad crefyddol, ei dref neu ei ardal, ei wlad, a'r byd mawr llydan—oll â chanddynt ryw afael ynddo. Ymha radd bynag y byddo, dyledwr ydyw i'r Groegiaid ac i'r barbariaid, i'r doethion ac i'r annoethion, hyd y mae ynddo ef, i bregethu yr efengyl i bawb. Gall fod yn fwy anhawdd i bregethwyr mewn ardaloedd gwledig gadw i fyny y bywiogrwydd a'r "myned" gofynedig, na'r rhai a amgylchynir gan dwrf ac ysgogiadau parhâus trefi mawrion. Ond nid yw un gweinidog yr efengyl i grebachu ei hun yn ol cyfyngdra ei le, ond ëangu ei le at ëangder ei alluoedd. Os yn ol ewyllys Duw y mae efe yn ei le presennol, y mae yn rhaid fod digon o waith o'i flaen. Os nad oes le i'w weithgarwch mewn un cyfeiriad, ymgeisied ac ymegnïed mewn cyfeiriadau eraill. Os yw ei gylch yn gyfyng, bydded iddo fŷnu myned tu hwnt iddo. Y mae efe yn wastad i wreiddio i waered, a dwyn ffrwyth i fyny, hyd yn nôd pan na byddo ond ychydig le i gynnyddu ar yr ochr yma neu yr ochr acw. Boed a fyddo, caffer chwi yn barhâus mewn cysylltiad â'ch gwaith ryw ffordd neu gilydd, yn "helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad yw eich llafur yn ofer yn yr Arglwydd."

Ni a welwn, yn drydydd, fod Paul *yn hoff o gerdded:* "ar fedr myned ei hun ar ei draed." Pa ffordd well y gall dynion fyned? I ba beth y gwnaed coesau a thraed os nad i rodio? Peiriannau cerdded yw dynion. Prenau wedi eu tori â'u penau i waered yw dynion. Mae'r coed â'u penau i lawr yn y ddaear, a'u traed yn yr awyr; ond wele ddynion â'u penau i fyny, ac yn cerdded ar eu canghenau. Yn yr awyr y mae unig ysgogiad prenau, ac ysgogiad dynion sydd ar y ddaear. "Yr ydwyf yn gweled dynion megys prenau yn rhodio." Myned ar draed sydd beth dynol. Mae dyn fel hyn yn dyfod yn syth fel ei gwnaed gan Dduw. Myned ar draed sydd beth iachus. Gesyd holl aelodau a gewynau y corff mewn ysgogiad cymedrol ac unffurf. Yr hyn yw yr ymarferiad o reswm i'r meddwl, dyna yw cerdded i'r corff. Mae yn cynnyrchu treuliad bwyd, yn cyflenwi yr ysgyfaint â chyfran ad-ddyblyg o *oxygen*, ac yn adfywio a chrythâu corff a meddwl. Myned ar draed sydd beth paradwysaidd. Beth a wyddai ein rhieni cyntaf am farchogaeth, neu am beiriannau rheilffordd, yn nghanol y blodau a'r llwyni cysgodol yn ngardd Eden? A phan ymwelodd Duw ei hun â hwy, "hwy a glywsant lais yr Arglwydd Dduw yn rhodio yn yr ardd." Myned ar draed sydd Gristiaidd. Ar draed yr oedd teithiau mynych a meithion Iesu Grist. Dim ond ar un achlysur y darllenwn iddo farchogaeth; ac ar gyfer y marchogiad byr hwnw am unwaith, ni a'i cawn yn cerdded cryn encyd ar y môr. Llawer cam blinedig o'r eiddo a roes argraff ar y ddaear. Efe "yn ddiffygiol gan y daith a eisteddodd ar y ffynnon." A fyddwn ni weithiau yn diffygio wrth gerdded? Efe a adawodd i ni esiampl fel y canlynem ei ôl ef.

Mae myned ar draed yn neillduol o anghenrheidiol i bobl o ymarferiadau efrydiol. Gwell yw coesau nag olwynion. Y naill a wnaed gan Dduw, a'r llall gan ddyn. Ar ol astudio yn galed, ni wna marchogaeth hanner cymaint o lês ag a wna cerdded. Wrth astudio, y mae gallu bywydol y cyfansoddiad yn cael ei dynu i'r pen; ac y mae cerdded yn adferu y bywioldeb i'w gyflwr gwreiddiol. Yr adaliad gofynol am ymarferiad yr ymenydd yw ymarferiad y coesau a'r traed. Dylai pobl astudgar gerdded tair neu bedair milldir bob dydd, ar bob tywydd. Bydd hyny yn dda i'r corff, yn dda i'r meddwl, yn dda i'r enaid. Cân wired a bod dyn yn sefyll ar ddwy goes, os na wna efe ddefnydd da o honynt yn feunyddiol, ni bydd efe yn abl i sefyll ar yr un o honynt. Ni wnaed dyn er mwyn llyfrau, ond llyfrau er mwyn dyn. Mae yn wir fod astudio llyfrau wedi dyfod erbyn hyn yn anghenrheidiol er ein llesiant meddyliol a moesol; ond o'r dechreuad nid felly yr oedd. Dylem gan hyny wrthweithio yr anfanteision naturiol o hynyma cân belled ag y medrom; ac ymarferiadau corfforol a wna hyny. Nid amser yn cael ei golli yw yr amser a gymerir fel hyn oddiwrth efrydiaeth. Yn fynych pan fyddom yn rhodio allan y mae'r meddwl yn cyrhaeddyd yr hyn oedd o'i gyrhaedd wrth y ddesc. Byddwn yn cael ein meddyliau rhagoraf yn aml yn y ffordd hon. Cymerwch yn hyn gynghor fy henaint yn eich ieuenctyd, a gellwch obeithio mwynhâu ieuenctyd mewn henaint.

Ar yr amrywiol gyfrifon hyn, fy nghyfeillion ieuainc, yr wyf yn eich cynghori i fyned, fel Paul, ar draed. Os mynech chwi iechyd a bywiogrwydd corff, pen clir, a chalon siriol, ewch ar eich traed. Os nad oes arnoch eisieu myned yn rhy dew i allu siarad neu anadlu yn rhwydd, neu fod yn ysglyfaeth i'r *gout* neu'r *dropsy*, cûr pen ac anhwylderau *nervous* o bob

math, ewch ar draed. Os dymunech fyw mwy na hanner eich dyddiau, a pheidio bod yn hen wŷr yn ddeugain neu hanner cant oed, ewch ar draed. Dyma i chwi esiampl dda yn y mwyaf un o'r apostolion. Pan yr oedd ei gyfeillion yn myned o'r blaen mewn llong, mynai efe "fyned ei hun ar draed."

Dyma ni, yn bedwerydd, yn cael Paul yn mwynhâu *myned wrtho ei hun.* Nid yn unig yr oedd efe yn penderfynu cerdded o Troas i Assos, ond yn ordeinio ac yn dewis myned felly "ei hun." Diau y buasai un neu fwy o'i gymdeithion yn llawen o gael myned gydag ef yr holl ffordd; a buasai aelodau o eglwys Troas yn barod i ymryson am y fraint hon. Ond yr oedd efe yn gweled fod arno anghen am neillduaeth. Wedi gweinidogaeth hir a llwyddiannus yn Ephesus, a myned oddiyno gyda chymdeithion i Macedonia ac i Groeg, ac o Philippi i Troas, lle y bu yn cynnal cyfarfodydd adfywiadol hyd hanner nos, yr oedd ganddo o'i flaen fordaith faith gyda'i gymdeithion i Cesarea, a thaith oddiyno i Jerusalem, heb wybod y pethau a ddygwyddai iddo yno, eithr fod iddo ymhob dinas rwymau a blinderau yn ei aros. Ar y fath amser, iawn y gallai gymeryd y cyfleusdra i gerdded o Troas i Assos, er mwyn y mwynhâd a'r budd neillduol o fod ar ei ben ei hun. Mae rhai wedi meddwl mai anhoffder Paul i fordeithio oedd yr achos iddo fyned ar ei draed i Assos; ond nid gŵr oedd efe i ofni "peryglon ar y môr," a llawer llai i adael i'w gyfeillion wynebu peryglon yr oedd efe yn anewyllysgar i gymeryd ei gyfran o honynt gyda hwynt. Na, trefniad penodol gan Paul oedd cerdded i Assos heb gydymaith iddo. Ac O mor ddyddorol oedd y daith hon i'r fath ddyn ac ar y fath amser! cael ei hunan, ar ol hir a mawr gynhyrfiad, ar ei ben ei hun yn y glynoedd tawel wrth odrau'r mynyddoedd, yn cerdded yn hamddenol drwy ddolydd a meusydd ŷd, yn cael ei fywiogi gan yr awelon tyner, peroriaeth y llwyni, a phererogledd y blodau! Mor ddymunol oedd raid fod y newidiad oddiwrth sŵn y tònau a thwrf y bobloedd i dawelwch y wlad i'r cyfryw feddwl myfyrgar ag oedd gan yr apostol Paul! Ni a fuom weithiau yn meddwl y fath werth mawr a gynnwysid yn y fasged hono a ollyngwyd i waered dros y mûr yn Damascus; a meddwl yr ydym yn bresennol am y pwysigrwydd arbenig ynglŷn â'r eglwys, a'r byd, ac â thragywyddoldeb, a geid yn y dyn unigol acw a welwn yn awr yn cerdded yn nghanol bryniau a dyffrynoedd dystaw Asia Leiaf. Beth oedd ei fyfyrdodau yno, hoffasem wybod, ond nis meiddiwn ormesu arnynt.

Y mae neillduaeth yn anghenrheidiol i bawb. Y mae dyn wedi ei wneuthur i unigedd yn gystal ag i gymdeithas; canys y mae unigedd yn ei gymhwyso i gymdeithas, a chymdeithas yn peri mwynhâd o unigedd. Mae neillduaeth yn rheidiol tuag at ddwyn allan yn gyflawn ein galluoedd corfforol, meddyliol, a moesol. Os nid da yw bod dyn ei hunan bob amser, nid da ychwaith yw iddo fod mewn cymdeithas bob amser. Mae dynion mawrion yn cael eu mawredd, a dynion da eu daioni, mewn dirgel fanau. Mae yr hâd yn myned o'r neilldu i'r ddaear i'r dyben o darddu i fyny yn flodeuyn neu goeden. Mae yr haul yn ymneillduo er mwyn dyfod allan drachefn yn ei rym. Mae natur yn myned i neillduaeth gauaf, tuag at ddyfod yn holl ffrwythlonder a chyflawnder haf arall. Mae gan hyd yn nôd Hollalluogrwydd "guddiad ei gryfder." Ac i gristion yn benodol rhaid yw wrth neillduaeth. Yr oedd Abraham ar ei ben ei hun wrth ddrws ei babell, dan gysgod derwen fawr, pan ymddangosodd yr Arglwydd iddo. Yr oedd Jacob ar ei ben ei hun pan welodd efe yr ysgol yn cyrhaedd o'r ddaear i'r nefoedd, ac angylion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyd-ddi; ac felly hefyd yr oedd pan yn ymdrechu âg Angel Duw hyd doriad y dydd. Ar ei ben ei hun yr oedd Moses pan yr ymddangosodd Duw i roddi'r comisiwn i waredu ei frodyr o gaethiwed yr Aipht; ac yr oedd efe ei hunan gyda Duw ar y mynydd am ddeugain niwrnod pan y traddodwyd iddo holl oruchwyliaeth y cyfammod cyntaf. Ei hunan yr oedd Gedeon yn dyrnu gwenith wrth y gwinwryf, i'w guddio rhag y Midianiaid, pan yr ymddangosodd Angel yr Arglwydd iddo, ac a ddywedodd, "Yr Arglwydd sydd gyda thi, ŵr cadarn nerthol." Pan yr oedd Esecial gyda phlant y gaethglud wrth afon Chebar, y dywedodd yr Arglwydd wrtho, "Cyfod, dos i'r gwastadedd, ac yno y llefaraf wrthyt." Yr oedd Pedr ar ei ben ei hun ar nen y tŷ pryd yr ymddangosodd yr Arglwydd iddo mewn gweledigaeth. Yr oedd Ioan mewn unigedd yn ynys Patmos pan y cafodd y dadguddiedigaethau rhyfedd a gogoneddus a geffheir yn y llyfr diweddaf o'r Ysgrythyrau. Ei hunan yn yr anialwch yr ymdrechodd ein Harglwydd yn fuddugoliaethus â'r byd, y cnawd, a'r diafol; ei hunan ar y mynydd y derbyniodd nerth a dyddanwch oddi fry; ei hunan wrth y ffynnon yr oedd ganddo fwyd i'w fwyta yr hwn na wyddai ei ddysgyblion oddiwrtho; a'i hunan yn yr ardd y bu efe yn yr ymdrech ofnadwy, ond sanctaidd a llwyddiannus, i fod yn berffaith gymmodlawn âg ewyllys ei Dad.

Os mynwch chwithau, fy nghyfeillion

ieuainc, ddilyn yr Arglwydd, a myned rhagoch ar hyd ôl y praidd, rhaid i chwi fod lawer ar eich penau eich hunain. Os mynech eich adwaen eich hunain ar wahan oddiwrth eraill, ac oddiwrth bob peth amgylchiadol, a deall beth ydych yn ngolwg Duw a Christ—os mynech ymnerthu yn y gras sydd yn Nghrist Iesu—os mynech fyned uwchlaw'r byd, ac uwchlaw yr eglwys hefyd yn ei chyflwr anmherffaith presennol,—rhaid i chwi fod mewn unigedd yn fynych. Can belled ag y dywed fy mhrofiad i fy hun, nid wyf yn petruso sicrhâu mai pan mewn unigedd y cerwch chwi Dduw a Christ fwyaf, ac y cerwch chwi eich cydgristionogion a'ch teuluoedd a'ch cyfeillion fwyaf. Iddynt hwy, ac o'u blaen hwy, y dangoswch chwi hyny fwyaf, ond ar eich penau eich hunain y teimlwch chwi hyny fwyaf. Yno yr wylwch chwi fwyaf gyda y rhai sydd yn wylo, ac y llawenhewch chwi fwyaf gyda y rhai sydd yn llawenhâu. Yr ydym mewn unigedd yn byw ddwywaith yr hyn yr ydym mewn cymdeithas yn ei fyw unwaith.

Y mae neillduaeth yn hynod reidiol i weinidog efengyl Crist. Mae yn angenrheidiol tuag at astudiaeth, er mai nid hyny sydd genym yn awr yn benaf mewn golwg. Nid amcan Paul, ni a dybygem, wrth fyned ar ei draed, ac wrtho ei hun, o Troas i Assos, oedd parotoi areithiau neu wneuthur pregethau newyddion. Yr oedd efe wedi gadael ei lyfrau a'i femrwn yn Troas, er mwyn iddo am dymmor fod yn rhydd hebddynt. Mewn efrydiaeth yr ydym yn unig, ac eto heb fod yn unig. Yr ydym o anghenrheidrwydd yn meddwl am eraill gymaint, ac yn fynych fwy, nag am danom ein hunain. Gobeithio ennill adfywiad corfforol, ac adloniad meddyliol, mewn neillduaeth oddiwrth astudio a phregethu, yr oedd Paul wrth fyned drwy goedwigoedd a'r meusydd gwyrddleision i Assos; ac y mae ar weinidogion yr efengyl eisieu yr un peth eto. Pan y dychwelodd yr apostolion o'r daith o lafurwaith efengylaidd yr anfonwyd hwy gan Grist, yn foddhäol iawn oblegid y derbyniad a gawsant, ac am ffrwythau eu cenadaeth, efe a ddywedodd wrthynt, "Deuwch eich hunain i le anghyfannedd o'r neilldu, a gorphwysoch encyd." Y "gorphwyso encyd" yma oedd ar Paul ei eisieu, ac yr oedd arno fwy o'i eisieu nag yr oedd yn abl i'w fwynhâu. Da fyddai i bob gweinidog gael cyfleusdra unwaith yn y flwyddyn o leiaf i fyned o'r neilldu o faes ei lafur. Wedi cymeryd taith ar draed drwy y rhanau mwyaf tawel a neillduedig o'r wlad, eich hunain yn debyg i Paul, eich bai chwi a fydd os na ddeuwch adref yn well pregethwyr ac yn well dynion. Diau y gwnai eich eglwysi a'ch cynnulleidfäoedd gyda phob parodrwydd estyn i chwi gymhorth at wneuthur hyny, pe gwyddent y byddai yn troi yn fantais iddynt hwy yn gystal âg i chwi.—*Rhydd gyfieithwyd a thalfyrwyd o'r Anerchiadau Blynyddol yn Ngholeg Gweinidogaethol Spurgeon gan y Prif-athraw, y Parch. George Rogers.*

---

# Barddoniaeth.

## Y BACHGEN DALL.

MAE bod heb weled haul a lleuad
  Yn fy ngwneuthur bron yn brudd;
Ni all un tafod roi desgrifiad
  Cywir im' o oleu 'r dydd:
Fe sonir wrthyf am gymylau
  Heirdd yn hofran yn y nen,
A minnau 'n druan, hwyr a borau,
  Heb un llygad yn fy mhen.

Mae bod heb ganfod môr na mynydd
  Weithiau 'n ofid mawr i mi,
Na 'r nentydd trystiog, a'r afonydd,
  Er eu bod mewn cymaint bri;
Daw lleisiau 'r adar i fy nghlustiau,
  Ond ni welais hwynt erioed;
Ni allaf ddirnad pa fath liwiau
  Wisgir ganddynt yn y coed.

Mae bod heb weled y gwyrddlesni
  Sydd yn harddu bryn a dôl,
Na gallu synu at y perthi
  Yn fy ngwneyd yn hurtyn ffol;
Y mae o'm hamgylch greaduriaid,
  Rhai yn fychain, a rhai 'n fwy,
A miloedd lawer o fân bryfaid
  Na chaf byth eu gweled hwy.

Mae bod heb weled fy nghydnabod
  Yn fy ngosod o dan glais;
Ac nid oes obaith i'w hadnabod
  Ond yn unig wrth y llais:
'R wy 'n gallu clywed yr ymgomio,
  Chwerthin brwd, a thrwst y troed;
Ond wele fi heb ganfod eto
  Siriol wênau mam erioed.

Mae bod heb weled tad gofalus
  Yn fy mlino ar bob cam;
Ac y mae 'r fynwes yn gwynfanus
  Am wel'd gruddiau hawddgar mam.
Ni chaf adnabod un llythyren,
  Er mor aml llyfrau 'r llawr;
A cholled fawr yw methu darllen
  Sillaf yn y Memrwn mawr.

Mae bod *heb Dduw, heb Grist, heb obaith,*
  Yn fwy *heb* na 'r oll i gyd;
A bod *heb* loches rhag yr oddaith
  Sydd i ddyfod ar y byd;

Bydd bod heb rwyfau yn yr afon
  Yn ddechreuad uffern im',
A chael fy hun yn mhlith ysbrydion
  Yn y diwedd,—BOD HEB DDIM.

EINION DDU.

*Tregeiriog.*

---

JOB.*

Y PATRIARCH Job, medd Ysbryd Duw,
  Oedd berson byw cyfrifol,
Yn meddu ar gymeriad pur,
  A hanes gwirioneddol.

Y dyn duwiolaf yn y byd
  A'r mwya 'i olud ynddo;
Ac wedi i'w olud gilio 'n ol,
  'R oedd Job yn dduwiol hebddo.

Ei blant a'i eiddo aeth yn llwyr
  Rhwng bore a hwyr *un* diwrnod,
Ei wraig a'i geraint yr un modd
  A giliodd ddydd ei drallod.

Ond er ei daflu o ganol ffawd,
  Ar domen dlawd mewn dirmyg,
Addolai 'i Dduw, addefai 'r drefn
  Drachefn yn fendigedig.

J. MORRIS.

*Gronant.*

* Buddugol yn Eisteddfod Ffynnongroew, Dydd Gwyl Dewi, 1882.

# Adolygiad y Wasg.

JUBILEE LECTURES: *A Historical Series delivered on the occasion of the Jubilee of the Congregational Union of England and Wales, with an Introductory Chapter.* Volume I. and II.

London: Hodder and Stoughton.

DYWEDIR wrthym yn y rhagymadrodd fod y darlithiau a gynnwysir yn y cyfrolau hyn wedi eu traddodi yn Llundain—a rhai o honynt wedi eu traddodi eilwaith mewn lleoedd eraill—ar ddeisyfiad Cyfeisteddiad Undeb Cynnulleidfäol Lloegr a Chymru. Yr oedd eu traddodiad yn rhan o gynllun gan yr Undeb, i hynodi y ddegfed flwyddyn a deugain er pan ei cychwynwyd, trwy ledaenu gwybodaeth o'r egwyddorion y mae y "Cynnulleidfäwyr" yn ymdrech drostynt, ac i arddangos, oddiwrth hanesyddiaeth, y lle a gafodd yr egwyddorion hyny yn mywyd crefyddol a gwladol pobl Lloegr.

Fel y gallesid dysgwyl, egwyddorion Annibyniaeth eglwysig yw yr hyn a eglurir ac a amddiffynir yn y ddwy gyfrol o'n blaen; a cheisir dangos ei rhagoriaeth ar ffurflywodraethau eglwysig eraill. Ond nis canfyddasom ddim yn anweddaidd nac yn dramgwyddus; ac nid ydym yn anghofio mai "rhydd i bob dyn ei farn, ac i bob barn ei llafar."

Cawn yn gyntaf bennod ragarweiniol gan A. M. Fairbarn, D.D. (Ni roddir y gair *Parchedig* o flaen enwau yr un o'r darlithwyr, a ninnau yma gan hyny â'i gadawn heibio.) Ni thraddodwyd erthygl Dr. Fairbarn fel darlith; ond efe a'i hysgrifenodd ar ddymuniad y Cyfeisteddfod ar ol i'r darlithiau gael eu traddodi. Ei theitl yw, "Llywod ddysg Eglwysig a Chrefydd Crist." Dywed am y termau *Congregationalism* ac *Independency* nad oes yr un o honynt yn eiriad hapus a gwir wahaniaethol, ond eu bod yn rhy hysbys, ac wedi eu harfer yn rhy hir, i'w rhoddi heibio. Pa beth bynag am "yr iaith arall" gyda hynyma, byddwn ni yn gweled y gair "Cynnulleidfäoliaeth," a arferir gan ein brodyr Annibynol yn y Dywysogaeth, yn air afrosgo a chlogyrnog iawn. Ac yma, wrth fyned heibio, caniatäer i ni ddywedyd nas gallwn ond ystyried y Methodistiaid Calfinaidd yn deilwng o'r enw *Congregationalists* yn gystal a'r Annibynwyr. Er fod rhai o'n cyfeillion—gyda'r Achosion Seisonig yn enwedig—yn chwannog i'w galw eu hunain yn Bresbyteriaid, dylid cofio mai nid Presbyteriaeth ddiledryw, mwy nag Annibyniaeth, yw ein Methodistiaeth. Gyda'r Presbyteriaid, y gweinidog a'r henuriaid llywodraethol, fel eu gelwir, sydd ymhob eglwys yn derbyn, dysgyblu, a diarddelwi yr aelodau, yn dewis ei swyddogion, ac yn trefnu a dwyn ymlaen ei hachosion; ond y mae pob eglwys gyda ni, yr holl aelodau eglwysig, yn meddu llais yn hyny. Mae gan bob eglwys yn ein mysg hawl i drafod a phenderfynu ei hachosion ei hun, os gall ac os dewisa wneuthur. Felly y mae ganddi ryddid cynnulleidfäol, er nad yw yn annibynol; a da hyny, o herwydd y mae ganddi y Cyfarfod Misol i appelio ato, a chan hwnw y Gymdeithasfa, er mwyn attal ymraniadau, a gwneuthur diwedd ar anghydfyddiaethau.

Y mae yn y rhagarweiniad sylwadau cryfion a chymhwys ar Esgobyddiaeth ac Offeiriadaeth, pethau "hollol ddyeithr," medd efe, "i Gristionogaeth gyntefig ac apostolaidd;" ac, wrth gwrs, cymer fantais i ddangos rhagoriaeth Annibyniaeth ar gyfryw gyfundrefn.

Y Ddarlith Gyntaf gan Mr. Dale o Birmingham sydd ar "Yr Annibynwyr Boreuol." Rhydd yn gyntaf hanes personol sylfaenwyr Annibyniaeth yn Lloegr, ac wedi hyny eu syniadau athrawiaethol ac eglwysig. Er fod Mr. Dale yn lled

bell oddiwrth fod yn Galfiniad da ei hun, dywed fod yr holl Annibynwyr boreuol, yn eu duwinyddiaeth, yn ddysgyblion ffyddlawn i John Calvin; ac, yn wir, fod holl Loegr Bresbyteraidd, yn amser y freninea Elizabeth, "yn sefyll at dduwinyddiaeth Geneva." Mae yr Ail Ddarlith gan Dr. Allon yn rhoi hanes "Laud a'r Puritaniaid." Cawn ganddo bortread campus o Buritaniaeth; a rhydd hanes cryno ac addysgiadol am yr Archesgob Laud, yr hwn oedd fath o Robespierre eglwysyddol, "a geisiodd yn ddyfal chwyldroi cyfansoddiad gwladol yn gystal ag eglwysig y deyrnas, ond a fethodd, ac a dalodd gosbedigaeth y methiant hwnw." Testun y Drydedd Ddarlith, gan Dr. Stoughton, yw "Cymanfa Westminster," yr hon a gaiff y darllenydd yn dra dyddorol. Y Bedwaredd Ddarlith gan Eustace R. Conder, M. A., sydd ar "Yr Annibynwyr yn nyddiau y Weriniaeth," neu dan raglawiaeth Oliver Cromwell; a'r Bummed gan Dr. J. Kennedy sydd ar Anghydffurfiaeth mewn cysylltiad â theyrnasiad Charles yr Ail. Diau y ceir llawer o addysg tra buddiol wrth ddarllen y ddwy ddarlith hyn. Y Chweched a ddyry Mr. Pearson o Liverpool, yn trin am y gŵr hynaws hwnw, yr Esgob Burnett, a'r ymgeisiau aflwyddiannus ganddo ef ac eraill i gynnwys holl Brotestaniaid y wlad hon, yn Gydffurfwyr ac Anghydffurfwyr, mewn un eglwys, lle y profir nad ydyw unffurfiaeth, yn ceisio cymeryd i mewn ddynion o bob math o farnau, neu heb un farn, i un eglwys, yn ddim ond breuddwyd gwag. Testun y Seithfed Ddarlith gan Mr. Baldwin Brown yw, "*The Struggle for Civil Liberty in the Georgian Era*," yn rhoddi adroddiad am yr ymdrechfeydd ynglŷn âg Actau y *Test* a'r *Corporation*—Unffurfiaeth—Y Pum' Milldir—y Goddefiad, ac actau eraill, ac yn dybenu gyda sicrhâu y perffeithir rhyddid Prydeinig trwy gwymp yr Eglwys fel Sefydliad Gwladol, a'i chyfodiad drachefn fel eglwys rydd a bendithfawr. A. Mackennell, B.A., yw y darlithydd nesaf; a'i bwnc ef ydyw, "*The Evangelical Revival in the Georgian Era, and its effect as the development of the Free Church Principle.*" A rhydd hanes am Fethodistiaeth Wesleyaidd a Chalfinaidd trwy Wesley a Whitefield, ond, fel y mae yn syn genym ni, heb grybwyll dim am Fethodistaeth Cymru. Y Nawfed a'r Ddegfed o'r Darlithiau ydyw, "*Broad Church Doctrine and Independency*" gan Edward White, a "*Clericalism and Congregationalism*" gan J. G. Rogers, B.A. Ac fe all Methodist, yn gystal âg Annibynwyr, gael yn y rhai hyn lawer o wersi da ynghylch Eglwysyddiaeth yn y wêdd bresennol arni. Y Ddarlith Ddiweddaf sydd gan ein cydwladwr teilwng, Henry Richard, yr aelod seneddol; ac "Anghydffurfiaeth yn Nghymru" yw ei destun ef. Buasai yn dda genym allu rhoddi crynodeb o'r ddarlith ragorol hon; ond y mae ein terfynau yn gwasgu gwaharddiad arnom. Mae efe yn profi mai dychymyg disail yw yr hyn a haerir gan rai Clerigwyr Cymreig, na ddarfu i'r Eglwys Brydeinig erioed ymddarostwng i awdurdod Rhufain Babaidd, gan fod yr Eglwys yn Nghymru am ganrifoedd cyn y Diwygiad Protestanaidd wedi myned yn drwyadl Babaidd, ac, yn wir, yn fwy felly na'r Eglwys yn Lloegr. A dengys fod y Cymry wedi dyfod yn genedl o Anghydffurfwyr, am eu bod wedi cael eu gorfodi oddiar wir anghenrheidrwydd, trwy esgeulusdra cywilyddus clerigwyr Cymru, i geisio, oddiallan i'r Eglwys Wladol, y cymhorth a'r maeth ysbrydol na cheid o'i mewn hi.

Wrth dry-ddarllen y darlithiau hyn, nis gallasem lai na mawr ddymuno ar i amryw o'n brodyr galluog yn Neheudir a Gogledd Cymru gael eu galw i roddi darlithiau cyffelyb ynglŷn â hanes ein cyfundeb ni ein hunain, sydd bellach yn ymyl cael ei drydedd Jubili. Daw hyn ymhen dwy neu dair blynedd; ac erbyn hyny, os nid cyn hyny, darparer y gyfres ddarlithiol i'n pobl, a rhodder i'r Saeson hefyd y fantais o honi trwy y wasg.

---

A REPLY TO THE "SECRET BOOK" OF THE "SALVATION" ARMY. *By the Rev.* CHARLES BULLOCK, *B.D. Editor of "Home Words," &c.* Fifth Thousand.

London: 1, Paternoster Buildings, E.C.

*Read and Judge the (so-called)* SALVATION ARMY, *by* LA COMTESSE AGENOR DE GASPARIN. *Translated by E. O. B.*

London: Griffith and Farran.

Y MAE symudiadau a gweithrediadau y blaid a'i geilw ei hun yn *Salvation Army* wedi dyfod yn destun sylw a siarad cyffredinol; ac felly nid anmhriodol yw i ni gyfeirio ein cyfeillion at y ddau lyfryn ynghylch y *Fyddin* sydd ger ein bron.

Clerigwr efengylaidd parchus a dylanwadol yw Mr. Bullock, golygydd yr *Home Words, Hand and Heart*, a chyfnodolion eraill, ac awdwr amryw o lyfrynau a byrdraethodau o ledaeniad helaeth. Yn ei ragymadrodd i'r *Reply*, efe a ddywed,

"Y mae yr hyn a ddysgir gan y '*Salvation Army*,' yn ol fel ei gelwir, a'i ffurf gyfansoddiadol, a fu hyd yn hyn, gan mwyaf, yn gyfrinach guddiedig, yn awr wedi eu

dwyn i oleu dydd. Byddai yn anmhosibl i ysgrifenydd y tudalenau canlynol draethu yn rhy gryf ei syndod ei hun oblegid nodweddiad an-Ysgrythyrol llawer o'i dysgeidiaeth, ac ansawdd wrthun a Jesuitaidd ei ffurf gyfansoddiadol. Mae yn ddiau fod y cydymdeimlad â'r ymdrech oedd yn cynnyg efengyleiddio y werin bobl, yn naturiol wedi rhwystro a gohirio ymchwiliadau manwl i weithrediadau ac egwyddion y '*Fyddin*.' Yr oedd pob un yn ceisio credu y goreu am dani; felly yn wir yr oedd yr ysgrifenydd ei hun, a da fuasai ganddo allu aros eto yn ddystaw. Ond yn wir y mae yn llawn bryd i bawb a ddymunent gadw y werinos rhag drwg gwaeth nag hyd yn nôd difaterwch, roddi gwrthdystiad penderfynol yn erbyn y gwatwareb poenusaf ar grefydd a estynir gan Mr. Booth."

Mae Mr. Bullock wedi cael allan, fod yn chwanegol at y *Secret Book* y mae efe yn sylwi arno, a deitlir "*The Doctrines and Discipline of the Salvation Army*," "*Secret Book*" arall i'w gael, yn rhoddi "*The Order and Regulations*" y Fyddin; ac oddiwrth gyfeiriadau yn y llyfr hwnw, ymddengys fod pump llyfr arall yn nwylaw y "Swyddogion," y rhai sydd yn cael eu cadw oddiwrth lygaid y wlad.

Yn y gyfran gyntaf o'r Llyfr Dirgel, ceir, medd Mr. Bullock, gamddarluniadau o'r hyn a elwir yn Galfiniaeth, a golwg anghywir ar yr Iawn; ond y cyfeiliornadau mwyaf sydd ynglŷn â'r athrawiaeth o sancteiddhâd. Dywed fod "profiad pobl Dduw yn dangos eu bod yn cyrhaedd sancteiddhâd cyfangwbl," a chyflwr yw hwnw ymha un y mae "pechod wedi ei ddystrywio allan o'r enaid, a'r dyn heb bechod." Mewn atebiad i'r gofyniad, "A ellwch chwi roddi enwau Biblaidd o rai yn ymddangos yn mwynhâu y profiad hwn?" ateba Mr. Booth, "Gallwn; Enoch a Moses a Job ac amryw eraill; ond nis gwnawn ond enwi yn unig yr apostol Paul, a rhoddi ei brofiad yn ei eiriau ef ei hun." Yr adnodau a ddyfynnodir yw Phil. i. 21; 2 Cor. xi. 1; Phil. iii. 9; 1 Thes. ii. 10; 2 Tim. iv. 6, 7. Ond fe wêl y darllenydd nad oes yn yr adnodau hyny ddim yn profi "sancteiddhâd cyfangwbl." Ni ddodir dim cyfeiriadau Ysgrythyrol at Enoch a Moses a Job; ond yn ddiau, medd ein hawdwr, nid oedd profiad Job yn proffesu ei fod wedi ei sancteiddio yn gyfangwbl. Ei brofiad goreu ef ydoedd, "Y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun, ac yr ydwyf yn edifarhâu mewn llwch a lludw." Dywed Mr. Booth fod "y byd crefyddol ymron mewn tywyllwch hollol ar y pwnc hwn." Ai felly yr oedd Ioan pan ddywedai, "Os dywedwn nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom?"

Am y Bibl, dywed y *Secret Book* fod pobl "yn ei brisio yn ormodol, trwy edrych arno fel yr unig ffordd ymha un y mae Duw yn siarad â dyn. Mae Duw yn siarad yn uniongyrchol wrth y galon trwy ei Ysbryd, a thrwy ei Ysbryd hefyd trwy un dyn wrth ddyn arall; a chamgymeriad gan hyny yw ymresymu nad oes genym un ffordd arall i wybod meddwl yr Ysbryd oddigerth trwy y Gair ysgrifenedig." Un achos mawr o'r "diffyg profiad yn ngwybodaeth Duw, a'r ymdrech diffygiol i ledaenu ei deyrnas yw, fod gweithrediad bywiol, cadarnhäol Duw yn cael ei gau allan o'r byd mewn cymhariaeth, a llyfr marw yn cael ei ddodi yn ei le." Felly y mae Mr. Booth yn rhinweddol yn ei arddelwi ei hun yn brophwyd, trwy yr hwn y mae Duw yn rhoddi dadguddiad newydd i ddynion; a pha un ai ei ffolineb ynte ei ryfyg a welir yma egluraf?

Ni osodir ond lle isel i'r sacramentau yn y Llyfr Dirgel. Bedydd yw "ffurf trwy ba un y *gall* rhieni plant eu cysegru a'u neillduo, a hysbysu eu bwriad i'w dwyn i fyny i Dduw ac i'r Fyddin. A chyffelyb yw bedydd credinwyr neu rai mewn oedran." Gellir ymarfer â Swper yr Arglwydd, "*lle y byddo* y cyfryw ordinhâd yn gynnorthwyol i ffydd ein milwyr;" ond nid yw Bedydd a Swper yr Arglwydd i'w hystyried fel "dyledswyddau i'w cyflawni." Addefir fod "bedydd trwy ddwfr yn ddefod gyffredin ymysg y cristionogion boreuol;" ac felly oedd hefyd "eillio y pen, golchi y traed, a llawer o seremonïau Iuddewig eraill, y rhai na fwriadwyd erioed i fod yn rhwymedig ar ein hymarferiadau a'n cydwybodau." Iê, dyma a ddywed Bibl newydd *General* Booth wrth ei Fyddin.

Wedi gadael heibio y pynciau ffydd, mae y rheolau ymarferol a osodir ger bron yn dra hynod. Y ddau beth cyntaf a ddodir i lawr fel "ffrwythau neillduol y sancteiddrwydd cyfangwbl," sydd fel y canlyn: "I. Mae y defnyddiad o dybaco ac erthyglau bydol o wisgiad neu addurn [beth yw y rhai hyn?] yn cael eu rhoi i fyny ar unwaith, megys y mae hefyd gyfeillach neu gymdeithas fydol. II. Mewn gwisg o *uniform* neu arwyddion y Fyddin, lle yr oedd o'r blaen unrhyw ymgiliad yn ol, y mae yn awr y parodrwydd mwyaf i gydffurfio â holl drefniadau'r Fyddin er mwyn Crist." Ymysg y "trefniadau" hyn, arddodir nad yw y "milwyr" i "ddarllen newyddiaduron bydol, sef y rhai cyffredin; ond os byddant yn edrych arnynt, nid yw i fod ond edrychiad." Y maent hefyd i "ymogelyd rhag *yr holl* lyfrau crefyddol cyffredin, a chyfyngu eu hunain at y Bibl, Llyfr Hymnau y *Salvation Army*, *General Orders*, y *War Cry*, a'r llyfrau a gyhoeddir gan ein hystorfeydd ein hunain." Ai tybed

fod manteision deallol neu grefyddol o gydffurfio â'r cyfryw gyfyng osodiadau? Da iawn, pa fodd bynag, nad yw'r Bibl yn cael ei gau allan.

Dichon mai y rheolau i'r swyddogion ynghylch priodi yw y rhai hynotaf o'r holl "*Army Regulations.*"

"Nid yw yr *Headquarters* [sef Mr. Booth y cadfridog] yn wrthwyneb i briodasau sydd yn addaw y parhâd o hapusrwydd a defnyddioldeb i'r swyddogion; ond y mae yr *Headquarters* yn cynghori pob swyddog i wneyd i fyny ei feddwl neu ei meddwl y gall Duw eu gwneuthur a'u cadw yn ddedwydd, sanctaidd, a defnyddiol heb briodi. Pan ddelo y swyddogion i'r penderfyniad hwn, byddant yna yn abl i aros nes y gwnelo efe ei ewyllys ar hyn yn adnabyddus iddynt."

Ni ddywedir pa fodd yr hysbysa Duw ei ewyllys ynghylch hynyma; ond y mae y rheol nesaf fel hyn: "Nis gall un briodas gymeryd lle heb gydsyniad yr *Headquarters.*" Ac wrth hyn yr ydym i gredu mai o enau Mr. Booth y rhaid dysgwyl lleferydd Duw. Mae y rheolau yn cyrhaedd carwriaeth yn gystal a phriodas:—

"Ni chaniateir i neb wneyd un garwriaeth yn ystod y deuddeng mis cyntaf. Os yn niwedd y pryd hwnw y ffurfir unrhyw ymrwymiadau, rhaid gwneyd hyny yn hysbys mewn *confidence* i'r *General-in-Chief*, yr hwn, os bydd efe yn cymeradwyo, a rydd ei gydsyniad i'r cyfryw ymrwymiadau."

Dyma rai o'r trefniadau a ffurfiwyd, ac a ffurfiwyd yn unig gan Mr. Booth, yr hwn nad ydyw ei hun yn gyfrifol i neb. Efe a ddywed, "Y mae Byddin Iachawdwriaeth *yn* Fyddin; ac nis gall fod byddin heb lywodraethiad milwraidd;" hyny yw, heb lywodraethiad Mr. Booth. Nis gall neb ei ddiorseddu ef, tra mai efe yn unig a all benodi swyddogion; a gall efe, "pan na byddo eu gwasanaeth yn dderbyniol a chymeradwy, ddirymu eu swyddogaethau, a phenodi eraill yn eu lle."

Wele ni wedi rhoddi ychydig o'r hyn a gynnwysir yn llyfryn Mr. Bullock, sydd ddwy geiniog ei bris; ac awn bellach at lyfryn swllt y *Countess* De Gasparin. Mae y bendefiges hon o Geneva yn adnabyddus am ei chrefyddolder nodedig a'i deall da, ac fel awdures amryw o lyfrau efengylaidd tra gwerthfawr, a gyfieithiwyd o'r Ffrancaeg i'r Saesoneg. Darfu i ddyfodiad yr *Army* i Geneva, a'r drafodaeth wladol yn eu cylch, dynu ei sylw neillduol at yr ysgogiad; a ffrwyth ei sylw yw y llyfr hwn, sydd wedi ei gyfieithu mor llythyrenol ag yr oedd bosibl, yn ol dymuniad y bendefiges, i'r Saesoneg. Cyffelyb yw ei gynllun i'r eiddo Mr. Bullock, ond ei fod yn rhoddi dyfyniadau llawer helaethach o'r "*Orders and Regulations for the Salvation Army.*"

Gwelwn mai y *General* sydd i benodi yr holl swyddogion, ac i benodi hefyd ei olynwr i lywyddu yr holl fyddin; ac awgrymir mai un o feibion Mr. Booth, wrth gwrs, a fydd hwnw. Awgrymir na chaniateir pleidleisio gan aelodau y Fyddin ar un mater perthynol iddi; rhaid iddynt gymeryd eu llywodraethu yn hollol gan y swyddogion, a'r oll i wneuthur ewyllys y Cadfridog. Rhaid i'r holl aelodau astudio llyfr y trefniadau yn y modd manylaf, ac arddodir fod un bennod o hono i fod dan sylw bob dydd; ac y mae pob aelod i hunanymholi, "A wnaethum i fy nyledswydd heddyw yn ol y bennod hon?" Felly y mae'r *book of Orders* i fod fel os nad yn lle y Bibl ganddynt.

Mae ein hawdures dramor yn dilyn Mr. Booth yn ei liaws rheolau, ac yn ei gymharu i Ignatius de Loyola, tad neu sylfaenydd urdd y Jesuitiaid. Ond sylwa'r *Times* fod y bendefiges yn gwneyd gormod o'r gymhariaeth hon, gan mai byddin o fewn byddin oedd yn bôd eisoes, byddin newydd i gadarnhâu yr hen fyddin, a ddygwyd allan gan Loyola; ond un ar ei phen ei hun, ac iddi ei hun, yn gwbl, yw byddin Booth. Yr oedd efe ar y dechre yn proffesu nad oedd y Fyddin i'w golygu yn sect mewn un modd; ac mewn rheol a roddir i'r swyddogion, pan yn myned i le newydd, dywedir, "Tuag at wneyd gweinidogion, ac eraill sydd yn ymarfer â gwaith eglwysig, yn gyfeillion i chwi, ymsefydlwch ar y ffaith mai ymosod yr ydym ni ar y rhai sydd oddiallan yn hollol i'w cylch hwy, ac nas gallwn ni, oddiar y diffyg o addysg yn ein plith, gystadlu â hwynt." Eithr erbyn hyn, nis gellir galw'r Fyddin yn gynnorthwyol a gwasanaethgar i'r enwadau efengylaidd; o herwydd y mae yr arweinwyr yn cau eu pobl oddiwrth bawb eraill; ac mewn tref yn Nghymru, baich yr anerchiadau yn y cyfarfodydd oedd collfarnu crefydd yn yr holl addoldai yn y dref—mai yn dduon yr oeddynt hwy yn gadael eu haelodau, tra yr oedd yr *Army* yn gwneyd yr eiddi hi yn wŷn i gyd.

Nid anmhriodol i ni yma roddi i'n darllenwyr y sylw sydd yn y *Sunday Magazine* yn y mis diweddaf ar Mr. Booth a'i Fyddin:

"Y mae'r cyffelybrwydd a dynwyd yn ddiweddar gan y Countess de Gasparin rhwng arweinydd y *Salvationists* a llywydd y Jesuitiaid yn debyg o ddyfod yn fwy nag yr ymddangosai ar y cyntaf. Mae Mr. Booth, heb foddloni ar arddelwi awdurdodiad unbenol ar ei ymlynwyr, yn haeru yn bendant fod ffyddlondeb i'r Fyddin i fyned o flaen rhwymedigaethau teulu a chartref. Yn ystod yr

wythnosau sydd newydd fyned heibio, adroddid am ddau amgylchiad tra chyffelyb. Mewn un o honynt, merch i glerigwr o Eglwys Loegr, amddifad o fam, a dynwyd o dan ddylanwad Rhufain. Hi a ymgynghorodd â'r Cardinal Newman, ac a gyfeiriwyd ganddo ef at y Tadau Jesuitaidd, y rhai yn ddiarwybod i'r tad, a dderbyniasant y ferch i'r cymundeb Rhufeinig. Ymunodd Miss Charlesworth [hithau yn ferch i glerigwr efengylaidd] â'r *Salvation Army* dan amgylchiadau tra chyffelyb, nid, yn wir, heb yn wybod i'w thad, ond yn erbyn ei ddymuniadau. Er gwaethaf ei holl appeliadau cynhyrfiol, hi a fynai ei adael, i fyw a gweithredu gyda dyeithriaid dan amgylchiadau peryglus, a chyda chymdeithion ammheus. Yr oedd y ddwy eneth hyn yn ieuainc, heb fam i'w harwain, ac â natur frwdfrydig, blygadwy i ddylanwad personol a ymarferid yn rhydd a dibetrus. Ar ol holl amddiffyniad cyfrwys-gywrain Mr. Booth, gwelir mai uchafiaeth y Fyddin, nid uchafiaeth Crist, sydd yn gorwedd yn ngwaelod yr holl drafodaeth. Nid oes yma un ymryson rhwng teyrngarwch ac annheyrngarwch i hawliau yr Hwn yw ein Tywysog a'n Hiachawdwr, ond rhwng dewisiad personol o ffurf neillduol o wasanaeth a deddfau serch naturiol. I ni y mae'r cartref cristionogol yn ymddangos yn sefydliad o fwy dwyfoldeb na'r Fyddin gan Mr. Booth; ac ni roddodd yr Iesu, pan yr oedd yn gadael y deml i ddychwelyd i'w gartref at ei rieni, yr un cefnogaeth i'r arddelwadau dychrynllyd hyn o drawslywodraeth bersonol. Ac os oedd yr Iesu yn ddarostyngedig i Joseph a Mair, pwy yw Mr. Booth i roddi i ni orchymyn newydd?"

Mae ein hawdures, yn niwedd ei llyfr, yn rhoddi dyfyniadau o lythyr a dderbyniodd oddiwrth y pendefig hybarch, Iarll Shaftesbury, llywydd y Fibl-Gymdeithas, yn yr hwn y dywed efe yn ddifloesgni,

"Mae yr ysgogiad a elwir yn *Salvation Army* yn ymddangos i mi yn waith y Diafol, yr hwn wedi hir geisio gwneuthur Cristionogaeth yn adgas, sydd wedi newid ei law, ac yn ymdrechu i'w gwneyd yn wrthddrych gwawd * * * ac hyd yn nôd â chymeryd yn ganiatäol er mwyn ymresymiad, fod math o ddaioni yn cael ei gynnyrchu, mae hyny ar gôst aberthu pob parchedigaeth at bethau crefyddol. Mae addoliad yn myned yn anferthlun o ymarferiad corfforol."

Y mae genym ychwaneg i'w ddywedyd ynghylch y Fyddin hon, gyda chymhwysiadau atom ni yn Nghymru; ond gan fod ein hadolygiad eisoes yn faith, rhaid i ni ohirio hyd ein rhifyn nesaf.

---

ODLAU'R EFENGYL: *sef yr Hymnau diweddaf, a genir yn nghyfarfodydd Mri.* MOODY A SANKEY. *Wedi eu cyfaddasu i'r Gymraeg gan* WATCYN WYN.

Abertawy: B. Parry, Argraffydd a Chyhoeddwr.

Y MAE yn dda genym gyfarfod eto â *Watcyn Wyn* yn cyfaddasu i'r Cymry yr hymnau a genir gan Mr. Sankey mor effeithiol i'r Saeson. Mae yma gymaint â naw a phedwar ugain o odlau efengylaidd ger ein bron, yn llawn o ysbryd ac effeithiolder yr emynau gwreiddiol; a hyderwn y bydd canu mawr arnynt gan ein cyfeillion ieuainc yn gyffredinol. Yn eu mysg cawn un hen emyn adnabyddus iawn, sef

"Marchog Iesu yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun."

Nid ydym wedi sylwi ond ar un gair nas arferir yn Ngogledd Cymru, ond a geir yn dra mynych yn yr odlau hyn, sef "yn nhrêf." Cartref yw gair y Gogleddwyr.

Addurnwn ein tu dalen âg un pennill yn unig, gyda'r gydgan:

"Arglwydd, mae 'r dymhestl yn rhuo,
Yn rhuo o fewn fy mron;
Mae 'm calon yn crynu mewn cyffro;
O Arglwydd, tawela hon!
Dyfnder fy enaid gynhyrfa,
Atat 'r wy 'n codi 'nghri;
Fy Ngwaredwr trugarog, cyfrynga,
O brysia a gwared fi.

"Wrth ymchwydd y môr
Y d'wêd llais fy Iôr,
Gosteg, fôr!
D'wêd wrth gynddaredd y ferw dòn,
A d'wêd wrth y gwynt sy 'n cynhyrfu ei bron;
Nid oes yr un dyfnder all roddi bedd
I'r llong sydd yn cario Tywysog Hedd;
Mae 'r oll yn gwrando ar lais yr Iôr,
Gosteg, fôr!"

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA ABERYSTWYTH.

MAWRTH 13, 14, 15, 1883.

LLYWYDD,—Y Parch. G. WILLIAMS, Llysyfran.

DYDD MAWRTH, MEHEFIN 28AIN.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 3 o'r gloch.*

I. Cymerwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Daeth y cenadwriaethau canlynol i law:—

*O Ogledd Aberteifi*:—1. O berthynas i'r hyn a gyflwynwyd i ystyriaeth o Gymdeithasfa y Blaenau, am sefyllfa Trysorfa y Genadaeth Gartrefol, pasiwyd,—"Ein bod yn ystyried mai priodol fyddai ffurfio *Trysorfa Sirol* ymhob Sir, ar gyfer cynnorthwyo Achosion Cymreig sydd mewn anghen.—2.

Fod y Cyfarfod Misol hwn yn gofyn caniatâd i werthu ein capel yn Middlesboro.—3. Nad ydym yn cydweled â'r cynnygiad dros gael Trysorfa Gyffredinol i dalu Dyled Capelau."—T. EDWARDS, *Ysg.*

*O Sir Frycheiniog:* —1. Dewiswyd y brodyr canlynol i'w hordeinio eleni: Mri. W. W. Lewis, Llangors, J. R. Hughes, Talybont, a Dl. James, Defynog.—2. Mewn perthynas i'r genadwri a ddaeth o'r Gymdeithasfa ynglŷn â Dyled ein Capelau, pasiwyd,—"Mai yn Sirol y byddai oreu myned ymlaen gyda hyn. Ond yr ydym yn hollol barod i gydweithredu â'r Gymdeithasfa, pa gynllun bynag a fabwysiedir ganddi."—R. DAVIES, *Ysg.*

*O Sir Gaerfyrddin:*—Cyfarfod Misol Llanelli, Rhag. 18 a'r 19eg, 1882.—O berthynas i'r Gymdeithas Genadol Gartrefol, penderfynwyd—1. "Mai gwell yw i'r Gymdeithas barhâu i wasanaethu ei dybenion presennol, ac estyn ei chynnorthwy lle byddo anghen, yn ol ei gallu, heb ffafrio y naill iaith yn fwy na'r llall.—2. Y dylai y Cyfeisteddfod Gweithiol gael ystadegau cyflawn o bob lle fyddo yn gofyn neu yn derbyn cynnorthwy (ac os gwrthoda unrhyw eglwys ganiatâu hyny, ei bod i golli, neu beidio derbyn *grant*), fel y byddo gan y cyfryw Gyfeisteddfod yr hysbysrwydd anghenrheidiol i ffurfio barn, ac y dylai holl aelodau y Cyfeisteddfod arfer barn, ac nid bod yn ddadleuwyr dros le neu Gyfarfod Misol. Yr ydym hefyd yn golygu y byddai yn well i'r Cyfeisteddfod hwn gyfarfod bob blwyddyn mewn rhyw le canolog, ar wahân i Gymdeithasfa Awst, ac yn flaenorol iddi, er mwyn cael amser digonol i roddi ystyriaeth briodol i'r materion ger bron.—3. Na ddylai swm y treuliau, oddieithr mewn amgylchiadau eithriadol, fod yn fwy na swm y derbyniadau, ac na ddylid parhau y *grants* i eglwysi Seisonig na Chymreig, ond lle byddo y Cyfeisteddfod yn cael boddlonrwydd eu bod yn ateb y dybenion goreu.—4. Y byddai yn ddymunol cael Cyfeisteddfod ymhob Sir i arolygu achos y Genadaeth."—Cyfarfod Misol Cloygraig, Chwef. 7fed a'r 8fed, 1883—1. Gan fod Cyfarfod Misol Mawrth yn Sir Gaerfyrddin, o herwydd amgylchiadau eithriadol, yn cael ei gynnal ar yr un dyddiau a Chymdeithasfa Aberystwyth, penderfynwyd anfon i'r Gymdeithasfa i ofyn am ganiatâd i ddwyn enwau y rhai a etholir yn y Sir i gael eu hordeinio i'r Gymdeithasfa ganlynol i Llanddeusant.—2. Trefnwyd Cymdeithasfa y Gwanwyn, yn Sir Gaerfyrddin, i fod yn Llanddeusant, Mehefin 5ed, 6ed, a'r 7fed, 1883.—3. Ein bod fel Cyfarfod Misol, yn dymuno ar y Gymdeithasfa i roddi Llythyr Cymeradwyaeth i'r Parch. Thomas Job, Cynwyl, i fyned i America."—THOMAS JAMES, *Ysg.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—Yn Nghyfarfod Misol Dwyrain Morganwg, a gynnaliwyd Chwefror 13eg, 1883, penderfynwyd,—1. "Ein bod yn nodi y Parchn. T. Rees, Cefn, Merthyr Tydfil, a Rhys Morgan, Llwynpia, Mri. Wm. Charles, Llwydcoed, Aberdâr, a R. Rogers, Pontypridd, i gynnrychioli y Cyfarfod Misol hwn yn y Gymdeithasfa nesaf."—2. Ein bod yn cyflwyno Mr. T. E. Evans, Gyfeillion, i'r Gymdeithasfa, i gael ei ordeinio y flwyddyn hon."—W. J. WILLIAMS, *Ysg.*

*O Orllewin Morganwg:*—"Fod y ddau frawd ieuanc, Mri. John Williams, Nantymoel, a Lewis Morgan, Bethlehem, Llansamlet, i gael eu cynnyg i'r Gymdeithasfa yn Aberystwyth, fel rhai wedi eu cynnyg i'w hordeinio eleni, gan Gyfarfod Misol Morganwg."—WILLIAM HOWELL, *Ysg.*

*O Sir Fynwy:*—Y mae Cyfarfod Misol Sir Fynwy wedi nodi y brodyr canlynol i'w hordeinio, sef Mri. Richard Williams, Abertileri, Watkin Powell, Pontnewynydd, a William Williams, Rhymney.

*O Sir Benfro:*—Ein bod yn cyflwyno Thomas Morgan, New Milford, i'w ordeinio.

*O'r Henaduriaeth:*—1. "Fod achos y Genadaeth Gartrefol i'w adael yn llaw y Cyfeisteddfod neillduol a benodwyd yn y Gymdeithasfa flaenorol.—2. Ein bod yn cyflwyno Mri. W. J. Matthews, Mozerah, a David Elias, Castellnedd, i gael eu hordeinio."—E. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Darllenwyd y llythyrau canlynol oddiwrth Mr. Mundella, M.P., ac E. H. Carbutt, M.P.

Privy Council Office,
November 4th, 1882.

Sir,—Mr. Mundella desires me to say that he has read, with much pleasure, the copy which you have been so good as to send him, of the Resolution passed at the recent meeting of the Calvinistic Methodist Association in South Wales.—Yours faithfully,

H. S. BRYAN.

*Rev. Griffith Davies.*

Westminster Palace Hotel, London,
November 3rd, 1882.

My Dear Sir,—Please accept my best thanks for the kind and encouraging Resolution passed by the Calvinistic Methodist Association of South Wales. I trust that next Session we may be able to add Monmouthshire to the other portion of the United Kingdom, who enjoy the benefit of the Sunday Closing of Public Houses.—I remain, my dear Sir, yours very truly,

E. H. CARBUTT.

*Rev. Griffith Davies, Cardigan.*

IV. Penodwyd Mri. T. Jones Parry, a J. James, Pentremawr, i archwilio Cyfrifon Trysorydd y Gymdeithasfa.

V. Rhoddwyd caniatâd i Gyfarfod Misol Sir Gaerfyrddin ddwyn enwau y brodyr a gyflwynir i'w hordeinio o'r Sir hono i'r Gymdeithasfa nesaf, oblegid fod eu Cyfarfod Misol, o herwydd amgylchiadau eithriadol, ar ddyddiau y Gymdeithasfa hon.

VI. Penderfynwyd ein bod yn rhoddi llythyr cymeradwyaeth at eglwysi y Cyfundeb yn America, i'r Parch. Thomas Job, Cynwyl, yr hwn sydd wedi derbyn gwahoddiad taer i ymweled â'r wlad hono, ac yn ei awdurdodi i'n cynnrychioli yn y

Cymanfaoedd ymha rai y dygwydd fod yn bresennol yn ystod ei ymweliad.

VII. Penderfynwyd ein bod hefyd yn rhoddi llythyr i'r un perwyl i'r Parch. D. Saunders, yr hwn sydd yn cael ei dueddu i gydsynio â'r gwahoddiad taer y mae yntau wedi dderbyn i ymweled â'r eglwysi yn America. Dadganwyd dymuniad ar i'n dau frawd gael amddiffyn y Nefoedd drostynt ar eu taith, ac ar iddynt gyflwyno ein cofion caredig i'n brodyr yn ngwlad y Gorllewin.

VIII. Penodwyd cyfeisteddfod i enwi brodyr i'w cynnyg i gyfarfod y Cynrychiolwyr at y gorchwylion canlynol:—(1.) I fod yn Arholwr Cymdeithasfaol yn lle y Parch. D. Evans, B.A., Whitchurch. (2.) I draethu ar Natur Eglwys yn Nghymdeithasfa Awst. (3.) I roddi y Cynghor i'r brodyr fydd yn cael eu hordeinio.

IX. Cyflwynwyd yr adroddiad canlynol gan y Cyfeisteddfod penodedig i ystyried y Rheolau ar godi Pregethwyr; ac ar ol ymdriniaeth fanwl, cymeradwywyd y Rheolau fel eu cynnygir, i fod dan ystyriaeth hyd y Cymdeithasfaoedd dilynol:

*Y Pwyllgor i ystyried y Rheolau ar godi Pregethwyr, a benodwyd yn Nghymdeithasfa Blaina.* — Cyfarfu y Pwyllgor uchod yn Nghapel y Tabernacl, nos Lun a bore Mawrth, Mawrth 12fed a'r 13eg, 1883. Yr oedd yn bresennol y Parchn. J. Jones, Ceinewydd, D. Saunders, T. Levi, J. M. Jones, Caerdydd, a J. Lewis, Caerfyrddin. Y Parch. John Jones yn Gadeirydd, a'r Parch. John Lewis yn Ysgrifenydd.

i. Ein bod yn annog y Gweinidogion a'r Blaenoriaid i wneuthur defnydd helaeth o bob doniau a ddygwyddo fod yn perthyn i'r eglwysi, gan gymhell yr aelodau, yn hen ac yn ieuanc, a farnont yn gymhwys i hyny, i roddi anerchiadau yn yr Ysgol Sabbothol, Cyfarfodydd Dirwestol, Cyfarfodydd Gweddi, &c., ac yn niffyg pregethwr ar y Sabboth yn y lle hwnw neu y lle arall perthynol i'r daith Sabbothol, neu ryw daith arall gyfagos, o fewn cylch y Dosbarth, i draddodi anerchiadau i'r gynnulleidfa; a hyn oll heb dybied fod y neb a annogir i wneuthur hyn yn bwriadu nac yn dymuno cyflwyno ei hun yn hollol i weinidogaeth yr efengyl fel gorchwyl mawr ei fywyd, nac yn dysgwyl cydnabyddiaeth arianol am ei lafur. Nid yw neb i gymeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond i fod yn gwbl dan reolaeth swyddogion yr eglwys y perthyna iddi.

ii. Ein bod yn annog y gweinidogion a'r blaenoriaid i gadw sylw manwl ar yr eglwysi, er mwyn canfod a meithrin cymhwysderau i weinidogaeth y gair. Wedi i swyddogion yr eglwys ddeall fod ynddi ŵr ieuanc âg ynddo duedd at y weinidogaeth, ac wedi iddynt gael prawf boddhaol arno yn y cylch blaenorol, os bydd yn gymeradwy o ran ei gymeriad a'i ysbryd, bydded i'r swyddogion anfon cais i'r Cyfarfod Misol am genadau -gweinidog a blaenor—i'w cynnorthwyo i ffurfio barn am ei gymhwysderau, drwy ei holi am ei wybodaeth ysgrythyrol, ei brofiad, a'i gymhelliadau at y weinidogaeth, ac i dderbyn llais ar ei achos drwy bleidlais ddirgel; a bydd yn anghenrheidiol iddo gael tair rhan o bedair o bleidleisiau yr aelodau fyddont ar y pryd yn bresennol, cyn y gellir myned ymlaen ymhellach gyda'i achos.

iii. Os ceir boddlonrwydd yn adroddiad y cenadau, trefner i'r ymgeisydd fyned trwy y Dosbarth i anerch a holwyddori yr Ysgolion Sabbothol, ac i esbonio rhanau o'r Ysgrythyrau yn y Cyfarfodydd Eglwysig a'r Cyfarfodydd Gweddi, &c. A phan fyddo wedi ymweled bedair gwaith, o leiaf, â'r holl eglwysi, dyger ei achos drachefn gan y swyddogion i Gyfarfod y Dosbarth y byddo rhybudd wedi ei roddi ymlaen llaw gan yr Ysgrifenydd fod ei achos i ddyfod ymlaen ynddo, ac un y byddo tair rhan o bedair o eglwysi y Dosbarth yn cael eu cynnrychioli ynddo; a rhaid iddo dderbyn drwy bleidlais ddirgel gymeradwyaeth dwy ran o dair o'r swyddogion a fyddont ar y pryd yn bresennol, cyn y gellir ei gyflwyno fel ymgeisydd am y weinidogaeth i'r Cyfarfod Misol.

iv. Pan wneir ei ddewisiad yn hysbys i'r Cyfarfod Misol, penoder brodyr i'w arholi am ei wybodaeth gyffredinol o'r Ysgrythyrau, ac ar bynciau athrawiaethol crefydd; ac wedi hysbysu i'r ymgeisydd y materion, a rhoddi iddo ddau fis o leiaf i ymbarotoi, arholer ef yn gyntaf mewn ysgrifen, ac yna yn gyhoeddus, ger bron pwyllgor o ddeuddeg o frodyr penodedig gan y Cyfarfod Misol; ac os bydd yr Arholwyr a'r Pwyllgor yn ei gymeradwyo, ac os, wedi clywed adroddiad ganddo o'i hanes crefyddol a'i gymhelliadau at waith y weinidogaeth, y derbynia gymeradwyaeth y frawdoliaeth fyddo yn bresennol yn y Cyfarfod Misol, rhodder rhyddid iddo i bregethu o fewn cylch y Cyfarfod Misol; ac wedi iddo wneuthur hyny am oddeutu blwyddyn, ystyrir ef ar dir y gellir ei gyflwyno fel ymgeisydd am dderbyniad i'r Athrofa, a'i dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol yn y drefn arferol.

v. Nad oes un pregethwr ar dir ag y gall y Cyfarfod Misol ei gyflwyno i'r Gymdeithasfa i'w ordeinio i'r holl waith, oddieithr ei fod cyn hyny wedi bod yn pregethu am bum' mlynedd, o leiaf, o adeg ei arholiad yn y Cyfarfod Misol, a'i fod hefyd wedi myned yn llwyddiannus drwy yr Arholiad Cymdeithasfaol, yn gystal a'i fod hefyd wedi rhoddi prawf boddlonol o'i ffyddlondeb, ei ddiwydrwch, a'i ddoniau addas i waith yr Arglwydd, ac wedi derbyn dwy ran o dair o bleidleisiau eglwysi y Cyfarfod Misol y perthyna iddo.

vi. Fod yn rhaid i bregethwr fod mewn cysylltiad bugeiliol âg eglwys am flwyddyn o leiaf, ac i bregethu yno am un Sabboth yn y mis, o leiaf, cyn y gellir ei ddewis i'w ordeinio yn rhinwedd y cysylltiad hwnw, a bod yn rhaid iddo gael *tair rhan o bedair* o eglwysi y Dosbarth y byddo yn perthyn iddo o'i blaid, a bod y Dosbarth i gynnwys deuddeg o eglwysi. Ond os dygwydd fod y Dosbarth y perthyna unrhyw frawd iddo fod yn llai na hyny mewn nifer, fod eglwysi y Dosbarth nesaf i'w hychwanegu ato.

*Cyfarfod y Cynnrychiolwyr, am 6 o'r gloch.*

Gwnaethpwyd yr etholiadau canlynol:—(1.) I fod yn Arholwr Cymdeithasfaol—y Parch. W. Williams, Abertawy. (2.) I draethu ar Natur Eglwys yn ngwasanaeth yr Ordeinio yn Nghymdeithasfa Awst—y Parch. Evan Phillips, Castellnewydd. (3.) I roddi y Cynghor—y Parch. Thomas Rees, Merthyr.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 7 o'r gloch.*

I. Cyflwynwyd adroddiad Cyfarfod y Cynnrychiolwyr.

II. Penderfynwyd anfon cofeb at y Llywodraeth, i ddymuno na byddo unrhyw ddeddf yn cael ei gosod yn nghyfansoddiad y Colegau Cenedlaethol i rwystro i'r pregethwyr fyddo yn efrydwyr ynddynt fyned allan i bregethu ar y Sabbothau. Penodwyd brodyr i dynu i fyny y gofeb erbyn dydd Iau.

III. Bu sylw ar y genadwri o Ogledd Aberteifi o berthynas i Gapel Middlesboro; ac wedi cael eglurhâd o'r hyn oedd yn peri i'r Cyfarfod Misol ofyn am ganiatâd i werthu y capel, penderfynwyd ein bod yn caniatâu y cais; ond ein bod yn ystyried y byddai yn fuddiol yn gyntaf i ymgynghori â Chyfarfodydd Misol Liverpool a Manchester ar y mater hwn, a chyda golwg ar ddwyn yr achos ymlaen yn Middlesborough rhagllaw. Ymddiriedwyd y gorchwyl hwn i'r Parch. T. Levi, a Mr. D. Jones, Bank, Aberystwyth.

IV. Cyflwynwyd yr adroddiad canlynol gan y Cyfeisteddfod Cynnorthwyol; ac wedi llawer o ymdriniaeth, gohiriwyd y mater hyd y cyfarfod nesaf:—

Mawrth 7fed, 1883.—Cyfarfu y Cyfeisteddfod Cynnorthwyol yn Festri y Trinity, Abertawy, pryd yr oedd yn bresennol y Parchn. W. Williams (yn llywyddu), D. Phillips, D. Anthony, D. Thorne Evans, a T. Richards. Diaconiaid: Mri. T. Phillips, ieu., Thos. Harries, W. Williams, Treforis, Daniel Davies, ac Ebenezer Davies.—Gan ein bod yn dysgwyl cael awgrymiadau o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaeth, yn ol penderfyniad Cymdeithasfa y Blaina, ac na chafwyd ond o Mynwy yn unig, barnem nad yw y Siroedd yn teimlo dyddordeb mawr yn yr achos; a phenderfynwyd i alw sylw y Gymdeithasfa eto at yr angenrheidrwydd o symud yn egniol ac ar unwaith i ffurfio rhyw gynllun effeithiol i leihâu y ddyled sydd ar ein haddoldai, ar gyfer blwyddyn Jubili ein Cyfundeb.—D. PHILLIPS, *Ysg.*

DYDD MERCHER, Y 14EG.

*Cyfeisteddfod yr Athrofa, a'r Genadaeth Gartrefol, am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o'r Cyfeisteddfod a gynnaliwyd yn Nhrefecca, y Nadolig diweddaf:—

Yr oedd yn bresennol y Parchn. R. Davies, Talgarth; T. M. Green; W. James; Mri. W. Jones, Hay; a R. Edwards, Bwlch. Etholwyd Mr. W. Jones yn Gadeirydd. 1. Penderfynwyd fod y Parchn. R. Davies a T. M. Green i archwilio cyfrifon a threuliau Mehefin. Cafwyd eu bod oll yn gywir ac wedi eu talu. Hysbyswyd fod y Trysorydd Lleol wedi cario allan benderfyniad 6ed Pwyllgor Mehefin, ac wedi llwyddo i gael gan Mr. J. Hughson i ostwng punt yn mhris y *grate* a gafwyd ganddo.—2. Archwiliwyd cyfrifon y Nadolig, a gorchymynwyd talu y symiau dyledus—£21 5s. 6½c. Amgauir cyfres o fanylion y gofyniadau.—3. Penderfynwyd, yn gymaint a bod Llyfr Cofnodau Trefecca wedi ei lanw, fod llyfr newydd i gael ei bwrcasu, a bod holl Gofnodau y Pwyllgor, pa un a gynnelir ef yn Trefecca neu yn y Gymdeithasfa, i gael eu hysbysu ar y llyfr hwnw.—W. JONES, *Cadeirydd;* W. JAMES, *Ysgrifenydd.*

II. Cafwyd adroddiad gan gyfeisteddfod neillduol y Genadaeth Gartrefol, yn unol â phenderfyniad y Gymdeithasfa flaenorol; ac ar ol ystyriaeth bwyllog o'r amryw gynnygiadau, cymeradwywyd hwy yn y ffurf ganlynol:—

Cyfarfu y Pwyllgor a benodwyd gan y Gymdeithasfa i ystyried sefyllfa y Gymdeithas Genadol Gartrefol, yn Festri Capel y Trinity, Abertawy, Chwef. 28ain, 1883. Yr oedd yn bresennol heblaw y Cynnullydd, y Parchn. D. Edwards, Thos. Levi, W. James, Aberdâr, J. Watkins, Gorwydd, J. R. Owen, Penfro, a Mr. T. Phillips, ieu., Abertawy. I. Rhoddodd y Cynnullydd adroddiad o sefyllfa bresennol y Gymdeithas. II. Cyttunwyd ar y pethau canlynol i'w cynnyg i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa:—1. Na dderbynir o hyn allan un cais am gymhorth ond at achosion newyddion, ac yn rhai a fyddont yn marn y Cyfeisteddfod yn debyg o ddyfod yn hunangynnaliol. Ynglŷn â hyn dymunir ar fod i ddarpariaeth gael ei wneuthur tuag at estyn cynnorthwy i hen leoedd, trwy Drysorfa Gynnorthwyol, naill ai Taleithiol neu Sirol.—2. Bod yr Ysgrifenydd ar ddiwedd pob blwyddyn i anfon *schedule* i bob lle sydd yn derbyn cymhorth oddiwrth y Gymdeithas, fel y galler cael cyfrifon o nifer yr aelodau, eu cynnydd neu eu lleihâd, ynghyd a swm yr holl gasgliadau am y flwyddyn flaenorol.—Bod y cyfrifon i gael eu hanfon i'r Ysgrifenydd cyn diwedd Mehefin bob blwyddyn, ac os bydd i unrhyw le esgeuluso eu hanfon, bod y rhodd i'r lle hwnw i ddarfod ar yr 31ain o Orphenaf canlynol.—3. Bod i'r Gymdeithasfa drefnu ar fod i ymweliad gael ei dalu â'r holl leoedd a gynnorthwyir, o leiaf bob tair blynedd.—W. WILLIAMS, *Cynnullydd.*

III. Cafwyd ymdriniaeth bellach ar adroddiad y Cyfeisteddfod Cynnorthwyol, a theimlid ei fod o bwys mawr i gael rhyw

gynllun effeithiol yn ddioed i leihâu, os nad i symud ymaith yn gwbl, y ddyled sydd ar ein haddoldai. Er mwyn cael pob hysbysrwydd a chymhorth anghenrheidiol tuag at ddarparu y cyfryw gynllun, dewiswyd y brodyr canlynol o'r gwahanol siroedd i fod yn gyfeisteddfod gyda'r brodyr penodedig o'r blaen yn Abertawe a'r gymydogaeth:—y Parchn. T. Levi; John Davies, Blaenanerch; John Lewis, Caerfyrddin; J. M. Jones, Caerdydd; Aaron Davies, Rhymney; W. Evans, M.A., Pembroke Dock; Rees Evans, Llanwrtyd; T. M. Green, Newport; Mri. J. Davies, Capel Mynach; James James, Pentremawr; John James, Llanymddyfri; D. Morgan, Canton; T. Jones Parry; H. Ll. Harries, Cefnydre; D. Jenkins, Trecastell; a J. J. Jones, Merthyr. Y Parch. W. Williams i fod yn gynnullydd.—Penderfynwyd,—Fod 100 o *forms* i'w hargraffu yn Gymraeg, yn Aberystwyth, ac i anfon nifer o gopïau i Ysgrifenyddion y Cyfarfodydd Misol, ac i'w dychwelyd i Mr. Williams, Abertawe, erbyn yr 20fed o Fai, ac fod cyfeisteddfod i gyfarfod yn Abertawe ynglŷn â'r Gymanfa Gyffredinol.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am 1 o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Llanddeusant, Sir Gaerfyrddin, Mehefin 5, 6, a'r 7fed. Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i fod prydnawn dydd Mawrth y 5ed, am 6 o'r gloch.

II. Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol o Gyfeisteddfod Gweithiol Trysorfa y Gweinidogion:—

TRYSORFA Y GWEINIDOGION.—*Adroddiad y Cyfeisteddfod am* 1882.—Derbyniwyd at y Gronfa er y Gymdeithasfa ddiweddaf o Sir Benfro, £41; o Sir Gaerfyrddin, £21; ac o Lundain, £61 12s. 6c. Yr oedd taliadau y Gweinidogion am 1882 yn £368 14s. 0c., ar gyfer ynghylch £40 yn 1832, y flwyddyn y dechreuwyd talu i fewn i'r Drysorfa. Swm y llogau am 1882 ydoedd £214 15s. 6c. Dysgwylir, modd bynag, y byddant eleni yn ymyl, os nad yn llawn £500. Cyfanswm y taliadau am y flwyddyn a aeth heibio ydoedd £851 17s. 2c. Dymunir hysbysu fod Is-Gyfeisteddfod, yn gynnwysedig o Mri. D. Jenkin Davies, D. Jones, a R. J. Davies, wedi ei henwi i dynu allan y Rheolau gyda golwg ar osodiad allan arian y Gronfa rhagllaw. Hefyd, bod yr Adroddiad am 1881 ac 1882 yn ymyl bod yn barod. Os na fydd manylion rhai o'r Casgliadau at y Gronfa i fewn mewn pryd, dysgwylir hwynt yn ddiffael i'w gosod i fewn yn yr Adroddiad nesaf. Yr ydys wedi trefnu fod Adroddiadau y Drysorfa, o'r dechreuad hyd yn bresennol, i'w rhwymo yn un gyfrol, i'w gosod yn Llyfrgell Trefecca. Rhwng Taliadau y Gweinidogion a'r Llogau, bydd cyllid y drysorfa am 1883 ynghylch £850. Y tebygolrwydd yw y bydd y taliadau allan ynghylch £880. Teimla y Cyfeisteddfod yn gryf nas gellir treulio dim o arian y Gronfa i gwrdd â'r diffyg tebygol. Yr ydys yn mawr obeithio y gwna ychydig o'n cyfeillion mwyaf galluog barhâu i roddi tanysgrifiadau, fel ag i ochel yr anghenrheidrwydd i ostwng gwerth y manteision.—WILLIAM EVANS, *Ysgrifenydd.*

Penderfynwyd,—1. Fod y Gymdeithasfa yn diolch yn y modd mwyaf cynhes i'r Cyfeisteddfod Gweithiol ac i'r Swyddogion Cyffredinol a Sirol am eu llafur mewn cysylltiad â'r drysorfa hon am y flwyddyn ddiweddaf.—2. Fod y brodyr canlynol yn cael eu penodi yn Gyfeisteddfod Gweithiol am y flwyddyn ddyfodol, sef y Parchn. G. Parry, Thomas Levi, T. Charles Edwards, John Bowen, E. P. Jones, Llewelyn Edwards, Mri. David Jones, D. Jacob Davies, R. J. Davies, James James, Richard Morris, ac Evan Evans, ieu., oll o Aberystwyth a'r gymydogaeth.—3. Fod y Gymdeithasfa yn galonog yn cymeradwyo amcan y Cyfeisteddfod na byddo dim o arian y Gronfa yn cael eu treulio i ddybenion cyffredin y drysorfa, ac yn mawr obeithio y gwna ein cyfeillion sydd wedi eu bendithio yn helaeth gan Ragluniaeth gofio am yr achos hwn, drwy barhâu i gyfranu tanysgrifiadau blynyddol.

III. Darllenwyd yr Adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

1. Ein bod yn cymeradwyo y brodyr canlynol i gael eu hordeinio eleni, y rhai a gyflwynwyd o'r gwahanol Siroedd:—Brycheiniog: W. W. Lewis, Llangors; J. R. Hughes, Talybont; Daniel James, Defynog. Dwyrain Morganwg: T. E. Jones, Brynsaddler. Gorllewin Morganwg: John Williams, Nantymoel; Lewis Morgan, Bethlehem, Llansamlet. Mynwy: Richard Williams, Abertileri; Watkin Powell, Pontnewynydd; William Williams, Rhymney. Penfro: Thomas Morgan, New Milford. Yr Henaduriaeth, J. W. Matthews, Mozerah; David Elias, Neath.—2. Cafwyd ymddyddan ar "Gymhwysderau ac Etholiad Diaconiaid."—D. JENKINS, *Cadeirydd;* T. JONES PARRY, *Ysgrifenydd.*

Penderfynwyd fod y brodyr uchod i gael eu hordeinio yn Nghymdeithasfa Awst. Ynglŷn â hyn gwnaethpwyd sylwadau difrifol gan amryw frodyr ar "Fugeiliaeth Eglwysig, yn enwedig y pwys i'n pregethwyr gyflawni eu swydd, trwy fod yn 'weithwyr difefl,' *a gwir ofalu am yr Achos.*"

IV. Cafwyd hanes manwl am agwedd yr Achos yn Ngogledd Aberteifi gan y Parchn. William Morgan, Penygarn, a J. Bowen, Rhydfendigaid, yn dangos nad yw yr eglwysi yn y cylch hwn yn ymollwng yn

eu llafur gyda holl ranau y gwaith, er gorfod colli lliaws o aelodau a gwrandäwyr trwy symudiadau llawer o gannoedd i weithfeydd Morganwg a Mynwy.

DYDD IAU, Y 15FED.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod yr Athrofa a'r Genadaeth Gartrefol.

III. Galwyd sylw gan y Parch. W. Williams at Gofiant y diweddar Ebenezer Williams, Aberhonddu, gan y Parch. T. Rees, Merthyr, a chan y Llywydd at Gofiant y diweddar Thomas John, Cilgerran, gan y Parch. B. D. Thomas, Woodstock. Rhoddwyd canmoliaeth uchel i'r ddau lyfr, a hyderid y byddant yn cael eu gwerthfawrogi gan y wlad yn gyffredinol. Ynglŷn â hyn, annogwyd y Cyfarfodydd Misol i geisio rhai cymhwys yn eu plith i barotoi bywgraffiadau i amrywiol o'r brodyr ymadawedig nad oes dim wedi ei ysgrifenu eto i barhâu eu coffadwriaeth yn y wedd hon.

IV. Hysbysodd y Llywydd y newydd da fod y swm o £250 wedi ei ymddiried iddo i'w gyflwyno i drysorfa y Genadaeth Gartrefol yn y Deheubarth, ac y bydd eto swm cyffelyb i'w roddi at wasanaeth sefydliadau daionus eraill yn ein plith.

V. Mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol, i'w anfon i'r *Education Department*, ar Gyfansoddiad y Colegau Cenedlaethol:—

That in the scheme of the proposed College for Wales, the Students should be absolutely free from all religious restrictions, and that Students preparing for the Nonconformist Ministry should be left to their own discretion in respect of preaching appointments on the Sabbath day, subject only to the jurisdiction of the denominations to which they belong.

VI. Gwnaeth y Parch. T. Rees a J. Cynddylan Jones sylwadau parchus mewn coffâd am y Parch. Thomas Evans, Penycae, yr hwn oedd wedi cyrhaedd yr oedran teg o 81, ac yn dra adnabyddus fel un yn meddu gweinidogaeth gymeradwy gan yr eglwysi.

VII. Gwnaethpwyd sylwadau gwerthfawr gan ddau frawd ar y mater pwysig oedd wedi ei benodi i gael ymdriniaeth arno, sef *Person yr Arglwydd Iesu.* Arwyddwyd i'r mater hwn gael ymdrin âg ef eto yn y Gymdeithasfa nesaf.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fawrth, y 13eg o Fawrth, pregethodd yn y Tabernacl, y Parchedigion Aaron Francis a David Saunders, ac yn Siloh y Parchn. J. Lewis, Caerfyrddin, a Richard Lumley.

Dydd Mercher am 3 o'r gloch brydnawn, cynnaliwyd Cyfarfod Dirwestol yn Siloh, pryd y llywyddwyd gan y Parch. W. Evans, M.A., ac yr areithiwyd gan y Parchn. Joseph Thomas, Thomas Rees, Thomas Job, a J. Morgan Jones. Nos Fercher, yn y Tabernacl, pregethodd y Parchn. George Williams a Joseph Thomas; ac yn Siloh, y Parchn. J. Cynddylan Jones a D. Saunders.

Dydd Iau am 6 o'r gloch y bore, yn y Tabernacl, pregethodd y Parchn. R. Evans, ac O. R. Morris, America, ac yn Siloh, y Parchn. Rees Morgan a Stephen Jenkins. Am 10, yn y Tabernacl, y Parchn. D. Saunders a R. Lumley, ac yn Siloh, y Parchn. W. Williams, Abertawe, a Joseph Thomas. Am 2, yn y Tabernacl, pregethodd y Parch. J. Cynddylan Jones a William Williams, ac yn Siloh, y Parchn. Moses Thomas a Thomas Rees. Ac am 6, yn y Tabernacl, y Parchn. J. M. Jones, Caerdydd, a Joseph Thomas, ac yn Siloh, y Parchn. D. Saunders a R. Lumley.

—

MARWOLAETH MR. R. BRUNT, GWRECSAM.

YN mis Mawrth diweddaf, bu farw Mr. Brunt o Wrecsam, y blaenor hynaf gyda'r Methodistiaid yno, yn 68 mlwydd oed. Er ei fod yn teimlo ac arddangos gwaeledd iechyd er ys dwy flynedd, ni bu ond ar y ddau Sabboth diweddaf y bu byw yn methu dyfod i'r capel. Meddylid mai anwyd a gafodd, o'r hwn y dysgwylid y byddai iddo wella yn fuan, oedd yn ei rwystro; ond angeu oedd yno yn gorphen ei waith ar ei babell bridd. Bu farw fel y bu byw—"mewn tangnefedd heddychol." Daeth torf lïosog i'w gladdedigaeth, a llawer o gryn bellder. Yn y capel llywyddwyd gan y gweinidog, y Parch. H. Barrow Williams. Darllenodd a gweddïodd y Parch. J. Jones, Rhiwabon; ac anerchwyd y gynnulleidfa gan y Parchn. R. Edwards a W. Pierce o'r Wyddgrug; a dybenwyd trwy weddi gan y Parch. D. Roberts (Annibynwr). Yn y tŷ, yn Belle Vue, gweinyddodd y Parch. J. Jones, Rhosllanerchrugog; ac yn y capel perthynol i'r fynwent, y *Ruabon Road Cemetery,* darllenwyd cyfran o'r Bibl gan y Parch. Evan Lloyd, a gweddïwyd gan y Parch. Michael Jones; a gweinyddwyd wrth y bedd gan Mr. Barrow Williams. Teimlir y golled fwyaf ar ei ol yn Ngwrecsam. Yr oedd yn Ysgrythyrwr a duwinydd da, yn ŵr defnyddiol a phwyllog, ac yn weithiwr eglwysig difefl. Ac yr oedd yn dal lle mawr yn ei Gyfarfod Misol, lle yr oedd yn drefnwr cyhoeddiadau pregethwyr dyeithr.

—

MARWOLAETH MAMAU YN ISRAEL.

YMYSG y chwïorydd a'r mamau crefyddol a

gymerwyd ymaith yn ddiweddar, y mae enwau Mrs. Williams, Bodlondeb, Machynlleth, a Mrs. Dew, Bryn Teg, Pont Menai, yn haeddu coffhâd arbenig. Merch oedd Mrs. Williams i'r hen bregethwr Mr. Thomas Foulkes, Machynlleth, a chyn hyny o'r Bala, a'i mam oedd gristionoges arbenig, a chwaer i'r Parch. Simon Lloyd, B.A., Bala. Ei phriod, Mr. Williams, a fu flaenor enwog ac adnabyddus yn Môn, Arfon, a Threfaldwyn. Hi a ddangosodd haelioni mawr bob amser at achosion crefyddol, ac yn enwedig yn ei blynyddoedd olaf at yr Achos Seisonig yn Machynlleth, tuag at yr hwn y cyfranodd gannoedd o bunnoedd. Bu farw yn yr oedran mawr o 89 mlwydd, yn addfed ymhob modd i'r wlad well. Mrs. Dew oedd ferch i'r diweddar Griffith Davies, Ysw., F.R.S., Llundain, yr *actuary* nodedig, un o rifyddwyr goreu y deyrnas, a blaenor anrhydeddus a llafurus yn eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn hen gapel Jewin yn y brifddinas. Hi a briododd yn y flwyddyn 1840 â Samuel Dew, Ysw., Cyfreithiwr, Llangefni, yr hwn a gyfrifir bellach yn un o arch-ddiaconiaid Methodistiaid Môn. Yr oedd Mrs. Dew yn arbenig am ei phwyll, ei haddfwynder, a'i serchogrwydd, ac yn enwedig am ei duwioldeb diammheuol. Teilwng ydyw o'r coffant goreu.

---

SYMUDIADAU A SEFYDLIADAU GWEINIDOGION.

Y MAE Mr. O. E. Williams, Dolgellau, wedi ei sefydlu i wasanaethu yn Nghapel Seisonig Blaenau Ffestiniog. Hysbysir fod Mr. David Jones, gynt o Lanelwy, wedi cael galwad unfrydol gan eglwysi Llanrhaiadr a'r Wern yn Nyffryn Clwyd, i ddyfod yn weinidog iddynt, ac yntau wedi cydsynio â'r alwad. Y mae Mr. Jones yn un o'r rhai a ddewiswyd i'w ordeinio y flwyddyn hon.—Y mae Mr. William Mendus, efrydydd yn Nhrefecca, a mab i'r Parch. John Mendus, Dinas, Sir Benfro, wedi derbyn galwad unfrydol yr eglwysi yn Nghaasgwys a Goshen i fod yn weinidog iddynt, ac yntau wedi cydsynio â'r galwad; a bydd yn dechre ar ei waith ar ol gorphen ei amser yn yr athrofa.—Deallwn fod y Parch. Phillip Norman o Benarth, gerllaw Caerdydd, yn bwriadu ymfudo i Australia, i gymeryd gofal eglwys Henaduriaethol yn Sydney.

---

YMWELIADAU AG AMERICA.

ODDIWRTH Gofnodau Cymdeithasfa Aberystwyth, gwelir fod y brodyr parchedig, David Saunders a Thomas Job, yn myned am dro i'r America, gyda chymeradwyaeth a dymuniadau gwresocaf y frawdoliaeth ar eu rhan. Hysbysir hefyd fod y Parch. O. T. Williams, Dolgellau, yn myned yno hefyd, yn ol cynghor ei feddyg. Cyn y bydd y rhifyn hwn wedi dyfod i law ein darllenwyr, byddant wedi cychwyn, a'r Parch. O. R. Morris gyda hwynt, yn yr agerlong *Alaska*, yn yr hon hefyd y bydd Meistri Moody a Sankey yn dychwelyd adref o'r wlad hon. Y mae teulu Mr. Saunders yn myned gydag ef; a gweddiwn a gobeithiwn am i'r fordaith a'r holl daith fod yn wir iachusol iddynt, ac felly hefyd i'n cyfaill ieuanc Mr. Williams. Diau y croesawir ein brodyr yn y modd gwresocaf gan ein cyfeillion yn yr Unol Daleithiau.

---

LLUNDAIN.—CYMANFA Y PASG.

"YN y cyflawnder wedi i fyrddiwn o bobl ymgasglu ynghyd hyd oni ymsathrai y naill y llall."—Er fod bellach gryn lawer dros ddeunaw cant o flynyddoedd er pan sefydliwyd yr oruchwyliaeth bresennol, pryd y dygwyddodd yr amgylchiad y cyfeirir ato yn y frawddeg flaenorol, y mae yn destun llawenydd a chysur mawr y gwelir fod y gair yn para yn ei flas, a'i Sylfaenydd yn myned yn fwy poblogaidd o flwyddyn i flwyddyn, yn arbenig felly ymysg y Cymry fel cenedl, pa un bynag ai yn eu gwlad ai allan o'u gwlad. "Y gair a glybuwyd" ganddynt o'u mebyd,—hoffant ei glywed eilwaith. Ac er cymaint o gynulliadau deniadol, rhodfeydd prydferth, a golygfeydd dymunol, sydd i'w cael, nid oes dim a attal y lliaws o honynt, yn enwedig ar adegau neillduol, i ddyfod i swn y pregethiad o hono. Felly yn Llundain. Dechreuwyd y cyfarfodydd eleni bore ddydd Gwener y Groglith yn Jewin Newydd. Yn y bore am ddeg cynnaliwyd cyfarfod eglwysig dan lywyddiaeth y Parch. D. C. Davies, M.A. Ni ddarllenwyd yr adroddiad y tro hwn am ei fod eisoes yn argraffedig ac yn wasgaredig ymysg yr aelodau, ac i'w gael i bawb oedd heb ei dderbyn hyd hyny. Cyfeiriodd Mr. Davies yn gyntaf at ddau frawd yn y swyddogaeth oedd hynod y tro hwn am eu habsennoldeb, a hyny o herwydd gwaeledd iechyd. Yr hynaf, sef Mr. W. Lloyd, Crosby Row,—dyma y tro cyntaf iddo ef fod yn absennol er ys namyn un triugain mlynedd. Y llall oedd Mr. J. W. Jones, Ysgrifenydd y Cyfarfod Misol, ac ysgrifenydd yr achos yn gyffredinol, er ys rhwng deg ar hugain a deugain mlynedd. Cafwyd arwydd y cyfarfod i anfon cofion caredicaf atynt, gan ddymuno eu hadferiad buan. Y mae yr adroddiad yn rhoddi golwg ddymunol ar yr achos yn yr holl eglwysi; cynnydd yn nifer yr aelodau, a'r casgliadau yn yr oll o honynt; yr Ysgolion Sabbothol yn dangos bywyd a chynnydd, a'r cangenau, y rhai ydynt bedair mewn nifer, yn dal eu tir ac yn ychwanegu cryfder.

Y mater a nodwyd i draethu arno ydoedd, Y modd i ennyn a meithrin gweithgarwch yn yr eglwysi, seiliedig ar 1 Cor. iii. 8. Sylwyd fel y mae gwahanol ansawdd a thueddiadau yn y natur ddynol, fod yn rhaid am amrywiol ffyrdd i'w meithrin. Mae rhai nad ymostyngant i gydweithio â neb ond yn eu dull eu hunain; a chynghorid y rhai hyny i wneyd pob peth a allont yn eu ffordd eu hunain. "Pob un a dderbyn ei briod wobr ei hun." Ceir unoliaeth mewn amrywiaeth; ac er pob amrywiaeth, nid oes neb yn colli ei hunaniaeth. Beth bynag am ffosogrwydd y nefoedd, bydd yno bob un yn meddiannu yr oll o hono yn ol y gallu a fydd ynddo ef

ei hunan i'w defnyddio. Gorphwys mewn gwaith a fydd y nefoedd; ond y mae y gwaith i'w ddechre yma ynom ni, a thrwom ni ar eraill, mewn amynedd a chymwynasgarwch, "Gan ymannog eich gilydd i gariad a gweithredoedd da." "Cymhellwch hwy i ddyfod i mewn." Ond gofalwn am roddi lle i Dduw ddyfod i mewn hefyd; efe yn unig a all wneyd y gwaith yn effeithiol. "Cydweithwyr Duw ydym ni" i fod; ond gofalwn gymdeithasu ac ymgynghori llawer âg ef.

Pregethwyd yn y gwahanol gapelau gan y Parchedigion D. C. Davies, M.A., E. Matthews, R. Lumley, J. Jones, Rhos, T. J. Wheldon, B.A., J. J. Roberts, Portmadoc, ac O. R. Morris, America. A pharhäodd y cynnulliadau yn y ddinas i liosogi fwyfwy o ddydd Gwener hyd nos Lun. A chan fod y cynnulliadau yn anghysurus o lawn, yn enwedig y nosweithiau, trwy garedigrwydd y Parch. Richard Roberts cafwyd benthyg hen gapel y diweddar Barch. John Wesley yn City Road; ac yno pregethodd Mr. Wheldon a Mr. Matthews i gynnulleidfa na welir yn aml gynifer o Gymry gyda'u gilydd yn Llundain. Arbedwyd felly yr ymsathru y cyfeiriwyd ato eisoes. Cafwyd hin ddymunol ar y cyfan, cynnulliadau lliosog, casgliadau da, a phregethau grymus a hyawdl. Hyderwn na bydd i'r gair ddychwel yn wag, ond y bydd iddo gael ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant, ac felly ddwyn y ffrwyth o sancteiddrwydd fel y byddo y diwedd yn fywyd tragywyddol.

Ychydig amser yn ol yr oeddym yn bur hyderus fod ein pabell wedi ei gosod i lawr bellach oes y ddaear; ond yr ydym dan orfod i gredu mai yn yr un byd a'r "pethau a ysgydwir" yr ydym eto; a thebyg ydyw y bydd y *Regent Canal* a *docks* newyddion yn ein symud cyn hir; ac er fod i ni addewidion dymunol, dylem fod ar ein gwyliadwriaeth, gan gofio mai dynion â gwendid ynddynt sydd i'w cael yn y byd yma ar y goreu. Er hyny ni a obeithiwn yr angwanegir ein ffydd, ac y "cawn helaethu lle ein pabell, ac estyn cortynau y preswylfëydd," o herwydd y gwyn ydyw hyd yn nôd ar adegau cyffredin, "Rhy gyfyng yw y lle hwn; dod le i mi fel y preswyliwyf."

J. H.

---

CYMANFA Y PASG YN FFESTINIOG.

GAN nad faint y dyddordeb a deimlai yr hen genedl gynt yn ngŵyl y Pasg fel adeg neillduol i ymgynnull i "fynydd Duw" ac i Jerusalem, rhywbeth yn debyg y teimla miloedd Methodistiaid Ffestiniog yn eu gŵyl flynyddol i wrandaw ac i fwynhâu hen "efengyl y deyrnas" gan ddoniau goreu yr enwad o Dde a Gogledd, yn gystal ag o drefydd Lloegr. Er y dygwyddodd i'r hin eleni fod yn hynod anafaidd yn ein bro uchel a mynyddig, cynnullai y bobl trwy yr eira trwchus a'r rhew caled at eu gilydd, a mwynheid yn ddibetrus genym y weinidogaeth efengylaidd a gafwyd i raddau anghyffredin. Cofir yn hir am y pregethau ar "Adgyfodiad yr Arglwydd Iesu," "Er gwerth y'ch prynwyd," "Crefydd yn fore," "Cyrchu at y nôd," &c. Pregethid eleni mewn pedwar o gapeli; ac felly yr oedd cylch y Gymanfa yn eangach, gan gynnwys y Garegddu, gyda Peniel, Bethesda, a'r Tabernacl. Bu rhai o'r gweinidogion yn Bowydd y Bluw ac Engedi hefyd, ac felly nid oedd yn aros ond Tanygrisiau heb gyfranogi o freintiau y Gymanfa. Yno gweinyddid gan y Parch. W. Jones, Penrhyn. Y gweinidogion a ymwelodd â ni eleni oeddynt y Parch. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth; E. Roberts, Caernarfon; R. Thomas, Llanllyfni; J. M. Jones, Caerdydd; D. Jones, Dowlais; D. James, Llaneurwg; John Pritchard, Amlwch; Moses Thomas, Resolven; J. Pritchard, Birmingham; a W. R. Davies, Dysgwylfa. Gofidus genym i ni gael ein siomi o Dr. Edwards a'r Parch. E. Matthews. Nid annyddorol yn ddiau fydd i ni fel arfer ychwanegu y ffigyrau a'r ffeithiau canlynol am sefyllfa yr achos mawr ymysg y Methodistiaid yn y plwyf. Yn ol y cyfrif diweddaf yr oedd rhif y gwrandäwyr yn 4864; cynnydd ar y flwyddyn 1881, 124. Aelodau eglwysig, 2353; cynnydd, 53. Yr Ysgol Sabbothol, 3607; cynnydd, 123. Er holl wendid masnach, casglwyd at wahanol achosion £2746 6s. 9c., yr hyn sydd tros £1 4s. ar gyfer pob aelod. Y mae gan y Methodistiaid yma wyth o gapeli Cymreig mawrion, un capel Seisonig hardd ac ëang, ac wyth o ysgoldai ëang i gynnal Ysgolion Sabbothol ac i addoli ynddynt; y cyfan yn 17. Y mae y Parch. O. E. Williams, diweddar o Bontddu, Dolgellau, wedi ymsefydlu i ofalu am yr achos Seisonig; a chawn y Parchn. Humphrey Williams, T. J. Wheldon, B.A., D. Jones, D. Roberts, a S. Owen, yn gofalu am yr eglwysi Cymreig. Drwg genym fod yr hen dad, y Parch. Humphrey Williams, wedi bod yn wael am fisoedd lawer; ond y mae yn awr yn gwella. Er fod ymfudiaeth pur gyffredinol wedi bod ac yn bod o'r ardal y flwyddyn hon, credwn fod yr eglwysi, yn arbenig trwy ymweliad y gweinidog llafurus o Penmaenmawr, y Parch. Richard Owen, wedi cael ychwanegiadau pwysig. Mewn llai na phythefnos o amser y mae rhwng 100 a 150 wedi eu derbyn fel ymgeiswyr i'r gwahanol eglwysi.

"Cerdd ymlaen, nefol dân,
Cymer yma feddiant glân."

Yr oedd rhyw arogl esmwyth hefyd ar y Cyfarfod Misol cyntaf a gynnaliwyd yn Engedi, Ebrill 9 a 10, pryd y gweinyddid gan y Parch. Dr. Hughes, Lerpwl, a gweinidogion y Sir.

FFESTINIAB.

---

# Bywgraffiaeth.

MR. JOHN ELIAS, CREIGIAU, CARREGLEFN, MÔN.

YN ystod y blynyddau diweddaf y mae hen deulu y Creigiau wedi tynu sylw, a gwneyd llawer o ddaioni i fyd ac eglwys, ac nid y lleiaf o honynt oedd gwrthddrych ein cof-

iant. Tybygem oddiwrth gofiant ei frawd—y diweddar Owen Elias, Ysw., Lerpwl—yr hwn a ymddangosodd yn y DRYSORFA, eu bod yn hynod o debyg i'w gilydd.

Ganwyd Mr. John Elias yn y Creigiau, Gorphenaf 19eg, 1810; a dyma'r lle y treuliodd ei oes mewn tawelwch a boddlonrwydd. Yr oedd yn hynod grefyddol pan yn ieuanc, eithr nid ymunodd â'r eglwys hyd nes yr oedd yn 23 oed. Dywedai ef ei hun iddo deimlo argyhoeddiadau dwysion cyn hyn, nes yr aeth *aros allan* o'r diwedd yn annyoddefol iddo. Cafodd lawer o'r hyn a alwai yn "ras attaliol;" ymgadwodd o'i febyd oddiwrth bechodau ysgeler a chyhoeddus, fel nas gallasai neb "estyn bys" ato; arweiniodd fywyd maith yn ddifrycheulyd a hynod ymroddgar i achos crefydd. Er hyn nid oedd neb yn fwy dirodres a diymffrost. Yr oedd eraill yn meddwl yn fawr o'i grefydd, ond "fy nhipyn crefydd" y galwai efe hi; a rhai blynyddau yn ol bu yn ei hofni yn fawr, a hyny am ei fod yn ammheu a oedd yn myned yn erbyn pob pechod ymhob ffurf arno. Ofnai ei fod yn llochesu rhyw elyn tu fewn â'i dinystriai yn y diwedd. Ond cafodd oruchafiaeth ar yr ammheu, a hyny yn benaf wrth ddarllen y pennodau ar Ffydd yn llyfr Gurnal. Yno dangosir fel y mae gwir ffydd yn ymaflyd yn Nuw, ac yn dwyn cyflawnder o fendithion cyfaddas i'r enaid, i gryfhâu ac adnewyddu pob gras a rhinwedd arall, nes y mae'n "fwy na choncwerwr." Byth ar ol hyn rhoddai bwys neillduol ar *ffydd yn Nghrist*. Ofnai yn fawr i ddim fychanu hyn, a rhwystro iddo gael ei le priodol. Gan iddo dilyn bywyd mor ddiargyhoedd, ceisiai y diafol ganddo ymddiried yn hyny; ond dychrynai rhag gwneyd hunan-gyfiawnder o'r fath beth, gan y buasai hyn yn taflu y diraddiad mwyaf ar Iesu Grist; efe yn unig am fywyd oedd ganddo ef.

Cymerodd achos crefydd yn Bethlehem yn eiddo iddo ei hun; "efe a'i carai fel ei enaid ei hun." Yr oedd ei deimladau crefyddol ar hyd y blynyddau i lawr ac i fyny yn ol fel y byddai "yr achos mawr" yma; yr oedd yn pryderu, yn gweddïo, ac yn gwneyd unrhyw beth a allai er ei lwyddiant. Teimlodd yn ddwys iawn ar ol colli yn angeu yr hen dad John Owen, Fferamisaf. Dywedai:—"Yr oedd ysgwyddau cryfion J. O. yn gallu cynnal llawer; ond yr ydym ni bellach fel plant amddifaid." Gan mai Mr. Elias yn awr oedd y blaenor hynaf, wrtho ef y dysgwylid fwyaf. Byddai yn hynod ddigalon wrth fyned i'r *society*, pan y deallai na fyddai yr un pregethwr yno i'w cynnorthwyo; ond yn aml deuai yr Arglwydd i'r canol, a dangosai ei hun mewn modd neillduol, fel yn cymeryd mantais ar eu gwendid hwy i ddangos ei allu ei hun, nes y byddent yn cael cyfarfod llewyrchus, a'r bobl yn canmawl wrth fyned gartref mai da oedd iddynt fod yno.

Yr oedd yn nodedig am ei barch i weinidogion y gair. Ymddygai atynt oll fel "gweision yr Arglwydd." Yr oedd mor dyner fel na chlywsom ef yn dywedyd gair bach am y mwyaf eiddil o honynt; ac os byddai rhywun yn tueddu i ddarostwng rhyw frawd, amddiffynai Mr. Elias ef gyda deheurwydd anwrthwynebol. Coffâi lawer o ddywediadau y Parchn. John Elias, Llanfechell; William Roberts, Amlwch; a Griffith Davies, Nebo, &c., ac yn aml caem rai o sylwadau y brodyr uchod, neu rywrai o'r hen dadau, ganddo yn y *society*. Clywsom ef yn dywedyd cynghorion y ddau olaf iddo, pan y galwyd ef yn flaenor, yr hyn a fu yn Mehefin 26ain, 1844, pan yr oedd yn 35 oed. Dywedai Mr. Roberts, "Os na fedrwch chwi wneuthur llawer o lês, treiwch beidio gwneyd llawer o ddrwg. Y mae hi yn arferiad genym ofyn, wrth gyd-deithio ar geffylau, Sut y mae hwna yn trafaelio? Nid yw yn gyflym iawn, meddir, ond y mae'n myn'd yn ddiberygl a hwylus. Y mae eisieu i ninnau fod yn ddiberygl a hwylus, bobl bach." Griffith Davies a ddywedai, "Ymdrechwch beidio clwyfo eich cydflaenoriaid; byddwch yn tueddu i'w codi hwy i fyny, a threio cadw eich hun i lawr; a phan y byddwch yn ceisio dywedyd tipyn, byddwch ddoeth trwy fod yn fyr, a gwyliwch godi i siarad yn rhy aml." Gwnaeth ymdrech deg i gadw y cynghorion hyn yn fanwl, a llwyddodd yn rhagorol. Dywedai fod cynghor arall o eiddo Mr. Roberts wedi aros ar ei feddwl, sef un a roddodd pan y daeth yma wedi hyn i ddewis blaenoriaid, "Y mae eisieu i'r blaenor fod yn debyg i'r fam gyda'i phlentyn pan y bydd yn rhoddi y fron iddo. Tra y bydd y bychan yn afreolus, yn tynu, ac yn crafu, y mae'r fam er ei waethaf yn dyoddef yn dawel, ac yn gweini iddo. Felly os bydd rhywun yn codi yn ein herbyn ninnau, ac yn chwerw wrthym, dysgwn ddyoddef, a gweini iddynt er pob peth." Cyfarfyddodd â rhai amgylchiadau a fu yn brawf llym ar ei grefydd i ddyoddef, ac ofnai yn fawr iddo fethu dal yn deilwng danynt; eithr trwy lawer o ymdrech a gweddi, daeth drwyddynt oll yn hynod lwyddiannus. Yr oedd yn "fab tangnefedd," ac nis gallai oddef terfysg.

Tynai lawer o gysur, beth bynag a'i cyfarfyddai, oddiwrth eangder a manyldeb rhagluniaeth Duw ar y byd. Cyfarfyddodd âg un amgylchiad neillduol i ddangos hyn. Gan ei fod wedi ei eni a'i fagu yn y Creigiau, ac na fu oddiyno ond yn achlysurol, yr oedd yn teimlo yn ymlynol iawn wrth y lle; ac yr oedd hefyd wedi diwyllio a chostio ar y *ffarm*, nes ei gwneyd yn llawer mwy o werth. Ond ow! cafodd ei *warnio* gan ei feistr tir, gan fod hwnw yn bwriadu ei werthu. Parodd hyn, fel y gellid tybied, gryn brofedigaeth ar y cyntaf; ond ryw ddiwrnod ymsaethodd mewn modd neillduol fod y cyfan yn llaw ei Dad nefol, ac er fod "cymylau a thywyllwch o'i amgylch" penderfynodd nad äi i geisio ymresymu âg ef, ond yr ymdrechai *gredu* ei fod yn gwneyd pob peth yn y modd goreu a doethaf. Yna dywedai, "Yr wyf yn foddlawn yn awr pa beth bynag a ddaw o'r Creigiau."

Yr oedd Mr. Elias yn weddïwr mawr, ac yn weddïwr hynod. Byddai pawb yn teimlo ei fod mewn gwirionedd yn dal cymdeithas â Duw—yn tynu y nefoedd i lawr. Er nad oedd yn fawr ei alluoedd, ei wybodaeth, na'i ddawn, yr oedd yn orchfygwr gyda Duw. "Cafodd nerth gyda Duw fel tywysog, a

chyda dynion, ac a orchfygodd." Er fod yr eglwys a'r gynnulleidfa yn gynnefin âg ef, ni chlywsom fod neb erioed wedi blino arno yn gwneyd unrhyw waith cyhoeddus; yr oedd ei gymundeb â Duw yn rhoddi newydd-deb ar bob peth a ddywedai. Yn ei farwolaeth yr oedd ei briod, ei frodyr a'i chwïorydd yn ol y cnawd, eglwys a chynnulleidfa, gweinidogion y gair, &c., wedi colli un oedd yn gweddïo llawer drostynt. Ymadawodd oddiwrthym yn sydyn; yr oedd wedi cael anwyd rhyw dair wythnos yn flaenorol, ond nid oedd neb yn tybied fod unrhyw berygl yn agos. Codai allan yn ddyddiol, ac yn ei zêl daeth i'r Cyfarfod Ysgolion a gynnaliwyd yma Gorphenaf 31ain, 1881; ond y prydnawn dydd Gwener canlynol "hunodd yn yr Iesu." Aeth megys heb ddyoddef loesion na phangfeydd angeu; nid oedd eisieu gwyntoedd cryfion ac ystormydd mawrion i'w ysgytio ef, mewn trefn i'w ryddhâu oddiwrth y byd, a'i addfedu i'r nef; cafodd angeu *strict orders* i'w symud ef mor dyner ac esmwyth ag yr oedd bosibl. Y mae ei goffadwriaeth yn fendigedig; canys yr oedd efe yn ŵr da, "yn llawn o'r Ysbryd Glân, ac o ffydd."

WILLIAM ROBERTS.

*Bethlehem, Careglefn.*

---

SIENCYN LEWIS, PENFOR.

NID oedd neb yn fwy adnabyddus i bregethwyr Sir Aberteifi na'r diweddar Siencyn Lewis, amaethwr gerllaw Llanrhystyd, a blaenor ffyddlawn yn nghapel Llanon. Tuag wyth mlynedd yn ol, hunodd yr hen batriarch hwn yn yr Iesu, yn 84 mlwydd oed, ar ol dyoddefaint ofnadwy oddiwrth ddafaden ar y wefus. Tair wythnos yn flaenorol, bu farw yr hen wraig dduwiol, Mary Lewis, ei briod, yn 88 mlwydd oed, ar ol oes hirfaith o hawddfyd ac adfyd. Diau fod gweinidogion Sir Aberteifi yn barod i gyd-ddyweyd gyda mi mai dau gristion o'r hen ffasiwn oeddent hwy, yn byw i'r hyn oeddynt yn ei broffesu, ac yn gweithio yn ddiwyd gydag achosion tymmorol ac ysbrydol.

Yn y cyfarfod eglwysig byddai Siencyn yn hynod o ddefnyddiol; traethai ar wahanol destynau fel meistr gyda'i blant, nes y byddai effaith mawr i'w ganfod arnynt yn y dyfodol. Yr oedd ei anerchiadau bob amser yn ddifrifol a dwfn. Yr oedd rhyw fflam angerddol ynddynt yn lledaenu eu gwres hyd at ddyfnderoedd teimladau y gwrandäwyr, nes ennyn ynddynt ysbryd gweddi a mawl. Yn y cyfarfod gweddi eto, yr oedd ei ddawn a'i ysbryd yn tori i fewn i bob mynwes, a chyn terfynu y cyfarfod nid oedd iddo le i orphwys, a theimlid fod sanctaidd y sancteiddiolaf wedi disgyn yn agos ar y pryd. Drachefn, yn yr addoliad teuluaidd yr oedd ef yn llawn mor effeithiol, y darllen a'r gweddïo yn cael eu cyflawni mewn ffydd hyderus, a gobaith taerddyfal, a chariad gwresog a diragrith at Grist.

Gellir nodi eto bethau yn nghymeriad ac ymddygiad Siencyn Lewis oedd yn egluro ei ddiwydrwydd di-ildio a'i ddyfalbarhâd gyda chrefydd. Llawer noson oer yn y gauaf, pryd yr oedd y gwynt yn chwythu o'r dwyrain i'r gorllewin yn aruthrol, a chawodydd o wlaw ac eira yn disgyn, a'r ffyrdd yn flin i rodio trwyddynt, byddai ein harwr yn dringo i fyny ac i lawr dros y bryniau tua chapel Llanon. Anfynych iawn yr oedd yn cymeryd ei arbed i fyned i dŷ Dduw gan dywydd anffafriol. Bendith fawr oedd cael gwir gristion fel efe i weinyddu y swydd o flaenor eglwysig, a galarus yn wir ydyw colli oddiwrthym y rhai yr oedd eu defnyddioldeb goruwch y cyffredin.

Yr oedd gan Siencyn Lewis dri o fechgyn, y rhai erbyn hyn sydd yn flaenoriaid yn ngwahanol eglwysi ein Cyfundeb, ac nid yn annhebyg o gyrhaedd safon eu hen dad patriarchaidd. Ar ol gorphen gwaith y dydd, byddai efe yn gyffredin yn galw yr holl blant ynghyd, â'u Biblau yn eu dwylaw; yno y byddid yn darllen ac esbonio o awr i awr, ac o flwyddyn i flwyddyn. Cofus genym fod yn bresennol yn un o'r cyfarfodydd teuluaidd hyn.

Gellir adrodd fod Siencyn Lewis a'r diweddar John Jones, Blaenanerch, yn gyfeillion mawr iawn, ac yn hynod am ddadleu yn frawdol efo'u gilydd. Byddai Mr. Jones weithiau â'i dymher yn cynhyrfu; braidd yn barod i guro yn ddidrugaredd cyn gorphen ar y ddadleuaeth. Ond nid oedd gwylltineb tymher Mr. Jones yn effeithio i beri i'w hen gyfaill wylltio na newid ei farn. Ond dyma'r ddau erbyn hyn wedi huno yn dawel, a chydgyfarfod lle mae "pawb o'r brodyr yno'n un, heb neb yn tynu'n groes." O am ychwaneg o gyffelyb ddynion difrifol a defnyddiol yn Nghymru a Lloegr.

E. MATTHEW DAVIES.

*Llundain.*

---

# Amrywiaethau.

TORTH I GRIST.

RHODDODD mam yn un o drefi mawrion ein teyrnas yr adroddiad canlynol: Un bore daeth bachgen carpiog, a llwyd ei olwg, at ein drws cefn, ac a grefodd am fwyd. "Os gwelwch yn dda, *ma'am*," ebe efe, "yr wyf fi a'r lleill o honom acw bron a starfio. O rhowch i mi ryw damaid o fara." "Ai nid oes genyt dad neu fam?" gofynais. "Oes, *ma'am*," atebai gyda gwên o gywilydd, ac âg ochenaid. "Ai nid ydynt hwy yn gweithio ac yn ennill arian?" "Ydynt, dipyn, *ma'am*; ond y maent agos yn wastad cyn dyfod adref yn eu gwario yn y *Feathers*." Wrth glywed hyny, fy nheimladau a galedodd, ac meddwn ynof fy hun, Y creaduriaid meddwon, drwg! nid af fi ddim i borthi eu plant hwy. Ond mi gofiais fod torth sych-galed, wedi hanner lwydo yn y cwpbwrdd, na wyddwn beth i wneyd â hi; ac mi a roddais hono i'r bachgen. Efe a afaelodd yn awchus ynddi, yn peri i un feddwl am afael dyn ar foddi tuag at geisio ei achub ei hun. Yr oedd Gainy fach, ein hanwylferch chwech oed, wedi sylwi yn ddystaw arnom; ac ar ol i'r bachgen fyned ymaith,

hi a ddaeth gyda'r difrifwch mwyaf i'w weled ar ei gwedd, ac a ofynodd, "*Mamma*, pe buasai Iesu Grist yn dyfod, ac yn dyweyd ei fod ymron marw gan eisieu bwyd, a fuasech chwi yn rhoi iddo ef y dorth sych lwyd hono?" "Pa beth, blentyn!" meddwn innau, "beth sydd yn peri i ti ofyn y fath gwestiwn?" "Wel, ïe, wrth i ni roi i'r tlawd, ai nid ydym i feddwl ein bod felly yn rhoi i Iesu Grist ei hun? Ai ni ddarfu iddo ddyweyd felly pan yr oedd yma ar y ddaear?" "Gainy fach," ebe finnau, gan gusanu ei gwyneb hawddgar, meddylgar, "tydi sydd yn dy le, ac mi gofiaf y wers oddiwrthyt y tro nesaf. *Dear me*, y daioni a wnaem pe baem wrth roddi fel hyn yn gweithredu fel rhai yn credu ein bod yn rhoddi i'r Arglwydd!" "Ië, nid oes genym yn y tŷ ddim yn rhy dda i'w roddi iddo Ef, a oes, *mamma?*" gofynai hi. "Nac oes, fy ngeneth anwyl," atebais, gan ei gwasgu at fy nghalon, a meddwl am eiriau'r Salmydd, "O enau plant bychain a rhai yn sugno y peraist nerth."

### GRAS O FLAEN BWYD.

Yn y *Life of Bishop Wilberforce*, cawn ef yn ysgrifenu yn ei ddyddlyfr ei fod yn Nghastell Windsor wedi clywed adroddiad gan Dr. Norman Macleod am weinidog Presbyteraidd yr hwn a syllai yn graff ar ddefnyddiau y ciniaw cyn gofyn bendith. Os byddai yn un da yn ei olwg, dechreuai trwy ddyweyd, "Y Jehofah haelionus;" ond os byddai yn ei weled yn un salw, dywedai, "Nid ydym, O Arglwydd, yn rhyglyddu y lleiaf o'th drugareddau." Clywais innau y dydd o'r blaen am weinidog o'r Bedyddwyr yn gyffelyb iddo, yn syllu beth oedd ar y bwrdd cyn deisyf y fendith. Gan weled mai darn o fara ac ysgadenyn a rodded o'i flaen, efe a ddymunodd ar i ŵr y tŷ ofyn bendith. Dywedai hwnw mai nid iawn oedd iddo ef wneyd yn lle gweinidog; ac felly ebe y gweinidog, "Yr ydym yn diolch i ti, Arglwydd, am beri i fôr a thir weini er ein cynnaliaeth." Adroddir am Dr. Johnson ei fod rywdro yn baïo yn erwin ar ei giniaw; nid oedd wrth ei fodd ef; ond ar y diwedd efe a ddiolchodd i Dduw am "y ciniaw da," yr hyn a wnaeth i'w wraig ofyn, "Pa fodd yr ydych yn meiddio diolch fel hyn i Dduw am y ciniaw yr oeddech yn dyweyd fynydau yn ol nad oedd yn bosibl ei fwyta?" Nid Mrs. Johnson yw yr unig wraig a allodd wasgu ei gŵr i gongl.—*The Christian Chronicle.*

### CANU DROS YR IORDDONEN.

Yr oedd un John Doull, Pulteneytown, Scotland, gŵr duwiol oedd yn arweinydd y cyfarfod gweddi, wedi ei gaethiwo gan afiechyd. Yn yr amser hwnw daeth Donald Sutherland o Thurlo i ymweled â John Doull; a dywedodd wrtho fod ganddo yr adnod hon oddiwrth yr Arglwydd i'w dyweyd wrtho: "Parotowch i chwi luniaeth, canys o fewn tridiau y byddwch yn myned dros yr Iorddonen hon;" ac yn ystod y tri diwrnod canlynol yr oedd Donald wedi ymneillduo i ystafell benodol, ac yr ei ddangos ei hun yn anfynych. Y pryd hwn yr oedd John yn ymddangos yn gwellâu; ond tua hwyr y trydydd dydd yr oedd arno arwydd o waethygiad; ac yna dyma Donald yn ymddangos gyda'r brodyr oedd wedi dyfod ynghyd o amgylch y clafwely. Gofynasant iddo ef fyned i weddi. "Na," atebai efe, "ni a ganwn ef dros yr Iorddonen gyda'r bummed salm a deugain." A thra yr oeddynt felly yn canu, yr oedd ysbryd John wedi myned i'r Ganaan nefol.—*Ministers and Men of the Far North.*

### TARAWIAD DYNOL YN DDIGON.

Yr oedd dyn o syniadau Atheistaidd yn traddodi darlith yn Dumfries, Scotland, pan y dywedodd, "Os oes Duw yn y nefoedd, paham na wnai efe ddiffrwytho fy mraich dde, neu fy nharaw yn farw?" Cigydd corffol yma a aeth i ymyl y darlithydd, ac a ddywedodd, "Pa beth, ddyn! nid yw yn werth gan yr Hollalluog dy daraw di yma, gan fod yma was iddo a wna hyn yn ei enw." A chyda hyny, dyna efe yn rhoi dyrnod i'r Duwwadwr nes y syrthiodd efe i'r llawr; a dyna ddiwedd ar y ddarlith hono.

### Y DYN DADLEUGAR.

Adroddir am ŵr a fyddai yn wastad yn dadleu â phawb, ac am bob peth, fod rhywun, wrth siarad âg ef ar ryw fater, yn dywedyd, "Fe wêl pawb fod hyn mor eglur a bod dau a dau yn gwneyd pedwar." "Na, yr wyf fi yn gwadu hyny hefyd," ebe'r gŵr dadleugar; "o herwydd y mae y ffigiwr 2 a 2 yn gwneyd dau ar hugain."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## CYFARFOD YR HENADURIAETH.

Llythyr oddiwrth y Parch. Griffith Hughes, dyddiedig Nongrymai, Mawrth 26ain, 1883.

Cynnaliwyd Henaduriaeth Shillong ar yr 17—19eg cyfisol. Daeth nifer lliosog o gynnrychiolwyr ynghyd, a chafwyd cyfarfodydd cysurus. Prif orchwyl y cyfarfod bore ddydd Sadwrn oedd derbyn blaenoriaid o eglwysi Cherra, Shillong, Umsaw, Umlyngkha, a Shangpung—deuddeg mewn nifer. Yr oedd hwn yn gyfarfod hyfryd a dymunol. Ni welwyd derbyn cymaint ar y Bryniau o'r blaen; ac ni chafwyd rhai yn ateb mor gywir pan yn cael eu holi mewn athrawiaeth a gwybodaeth Ysgrythyrol, nac yn meddu profiadau mwy dymunol. O mor llawen oedd edrych ar gymaint â hyn yn cael eu harddodi fel goruchwylwyr ar eglwys Dduw yn y gwahanol leoedd, a theimlo eu bod yn gymhwys i borthi praidd Duw â gwybodaeth ac â deall! Wrth wrando arnynt, teimlid fod gobaith da am ddyfodol yr achos ar y Bryniau hyn. Cymerodd ymddyddan â hwy gymaint o amser fel nas gellid ymdrin â dim mater ysbrydol fel yr oeddid wedi bwriadu.

Am bedwar o'r gloch drachefn cafwyd adroddiad am sefyllfa yr achos yn Shillong. Y mae cynnydd mawr wedi cymeryd lle yn y wlad sydd rhwng y Bryniau a Gwastadedd Assam, a elwir gwlad Bhoi. Cwyn y brodyr oll, oedd yn adrodd yr hanes am y gwahanol bentrefi, oedd eisieu rhywrai mwy gwybodus nag sydd ganddynt i'w dysgu. Yr oeddid yn gresynu drostynt wrth wrando arnynt. Y mae yma anhawsder gwirioneddol i drefnu ar eu cyfer. Y mae y wlad mor afiach fel na all neb oddiar y Bryniau fyw yno yn yr haf. Yr unig drefniant a ellir wneyd

yw anfon rhai yno am bedwar neu bum' mis yn y gauaf. Ac y mae gwir angen am hyn, onidê hwy syrthiant yn ol. Cofleidiasant Gristionogaeth yn sydyn, ac nis gallant fod yn deall ond ychydig iawn; ac yna, wedi i'r gwres cyntaf ddarfod, tröant yn ol. Dyma yw y ffaith am leoedd eraill lle mae rhai wedi dyfod at grefydd yn gyffelyb. Dylem ddysgu gwers oddiwrth hyn i fod yn ofalus i'w dysgu cyn eu derbyn i'r eglwys, ac yn enwedig at Fwrdd yr Arglwydd. Pe ceid rhyw foddion i'w dysgu am natur crefydd Mab Duw yn gyntaf, pan y maent yn barod i dderbyn, ceid eglwysi cryfion yno, a'r Cristionogion yn rhai cryfion na chwythid mo honynt gan bob awel temtasiwn.

Y mae cynnydd mawr wedi cymeryd lle yn Myllim hefyd. Y mae hwn yn bentref mawr, ac yn hen gartrefle breninoedd teyrnas Myllim—y deyrnas y mae Shillong ynddi; ac felly y lle mwyaf pwysig yn yr amgylchoedd oddieithr Shillong ei hunan. Y mae y teuluoedd mwyaf dylanwadol wedi ymuno â'r achos yma. Bu yma ysgol am flynyddau lawer, ond hyd y flwyddyn cyn y ddiweddaf nid oedd neb wedi cofleidio Cristionogaeth. Yn awr y mae golwg obeithiol ar yr achos yno.

Ar y Sabboth cafwyd cyfarfodydd cysurus a lliosog, ond nid oedd y gynnulleidfa lawn cymaint â'r tro o'r blaen. Yn yr hwyr cynnaliwyd cyfarfod eglwysig; mater—"Gallu gweddi i newid y galon a'r bywyd." Gwnaed sylwadau da ar y mater gan y Cenadon a'r efengylwyr a'r blaenoriaid. Bore Llun ymdriniwyd ar "Briodas"—mater a ohiriwyd o Henaduriaeth Cherra. Bu ymdriniaeth ar y modd i weithredu mewn achosion o ddysgyblaeth.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

MAE cynnydd tra boddhaol wedi cymeryd lle y flwyddyn ddiweddaf yn y swm a dderbyniwyd trwy offerynoliaeth y plant. Ond y mae eto lawer o'n heglwysi nad ydyw y plant ynddynt yn gwneyd dim tuag at yr achos Cenadol. Dymunir ar i'r swyddogion eglwysig annog y plant i ddefnyddio y Blychau neu y Tocynau casglu. Bydd y draul o anfon nifer gyda'u gilydd yn llawer llai nag i anfon un i bob plentyn fyddo yn anfon am Flwch neu Docyn. Tra yr erfynir ar i'r ieuenctyd gymeryd rhan egnïol yn yr achos hwn, hyderir

1. Na bydd i ymdrech y plant ymyraeth mewn un modd â'r casgliad arferol yn y gynnulleidfa.

2. Na bydd i'r tanysgrifiadau arferol gael eu rhoddi ar Docynau y plant. Pan y llwydda y plant i gael tanysgrifiadau newyddion, neu rai ychwanegol, teg iddynt eu rhoddi ar eu Tocynau; a chyhoeddir yn yr Adroddiad enwau y rhai a gyfranant yn y ffordd hon symiau o 2s. 6c. neu ragor.

3. Rhoddir gwobrwyon bychain i'r *plant* a gasglant symiau o 5s. neu ragor. Ond ni chyfrifir yn y dosbarth hwn rai dros bymtheg oed. Dymunol, ar yr un pryd, ac anghenrheidiol cael cynnorthwy rhai o bob oedran.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Holloway, Llundain, casgliad y Plant | 8 | 8 | 0 |
| Crosby Road, Llundain, eto | 5 | 6 | 10 |
| Pensarn a Capel Neuadd, eto | 4 | 1 | 5 |
| Llanrhaiadr yn Mochnant, eto | 3 | 1 | 8 |
| Garth, Ruabon, eto | 3 | 10 | 10 |
| Gwastad, Sir Benfro, eto | 6 | 14 | 3 |
| Bethania, Treharris, eto | 4 | 0 | 0 |
| Aberkenfig, Capel Dinam, &c. | 5 | 19 | 1 |
| Kent Street, Liverpool, Sabboth Cenadol y Plant | 2 | 6 | 6 |
| Chatham Street, eto | 0 | 7 | 1 |
| Anfield Road, eto | 0 | 12 | 8 |
| Llanwrin, eto | 0 | 5 | 6 |
| Cwmaman, Aberdare, eto | 0 | 16 | 8 |
| Ebenezer, Ebbw Vale | 0 | 10 | 8 |
| Eglwys Henaduriaethol Lloegr tuag at y gwaith cenadol yn Llydaw | 10 | 0 | 0 |
| Lleyn ac Eifionydd, Sabboth cenadol y Plant, trwy law Mr. R. Jones, U.H. | 8 | 0 | 6 |
| Gwespyr | 1 | 7 | 1 |
| Carno, Rhymney | 5 | 10 | 0 |
| Gogledd Aberteifi, trwy law Mr. P. Williams, U.H., Aberystwyth | 73 | 19 | 0 |
| Bethel, Eifionydd | 0 | 1 | 0 |
| Capel Fochriw, gerllaw Caerdydd | 0 | 16 | 0 |
| Capel Trinity, Llanelly | 2 | 12 | 6 |
| Mr. E. Peters, Waterloo | 1 | 0 | 0 |
| Trefaldwyn Uchaf, trwy law Mr. R. Jones, *Bank*, Drefnewydd | 11 | 16 | 7 |
| Mr. a Mrs. D. P. Davies | 2 | 0 | 0 |
| Sir Benfro, y rhan Gymreig, trwy law Mr. H. Ll. Harries, U.H. | 52 | 10 | 0 |
| Llwynpia, Dwyrain Morganwg | 4 | 10 | 0 |
| Capel David Street, Liverpool, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 6 | 6 |
| Capel Lombard Street, Liverpool, eto | 1 | 0 | 7 |
| Llangefni, eto | 0 | 19 | 6 |
| Dinbych, Capel Saesoneg, eto | 1 | 19 | 4 |
| Nazareth, Troedyrhiw, Merthyr, eto | 0 | 6 | 0 |
| Cefniwrch, Sir Fôn, eto | 0 | 6 | 11 |
| Geufron, eto | 0 | 1 | 6 |
| Mochdre, eto | 0 | 5 | 0 |
| Graig, Abercannau, eto | 0 | 10 | 0 |
| Tabernacl, Ceinewydd | 2 | 12 | 9 |
| Sir Fôn, Casgliadau Sabboth Cenadol y Plant | 14 | 10 | 0 |
| Master W. T. Evans, Pontnewynydd | 1 | 1 | 6 |
| Rhodd fechan Lizzie Fach | 0 | 5 | 0 |
| Sir Fflint, trwy law Mr. W. Jones, Grosvenor Road, Wrexham, y Trysorydd Sirol | 124 | 13 | 8 |
| Gorllewin Meirionydd, trwy law Mr. G. Jones, Tymawr, Towyn, y Trysorydd Sirol | 297 | 12 | 8 |
| Dwyrain Meirionydd, Sabboth Cenadol y Plant, trwy law Mr. R. Jones, U.H., Plas yr acre, Bala, y Trysorydd Sirol | 18 | 8 | 5 |

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Blwch Cenadol Willie Stephens, Llechryd | 0 | 5 | 0 |
| Cangen Gymdeithas Genadol y Merched, trwy law Miss Roberts, 68, Hope Street, Liverpool | 424 | 2 | 9 |
| (Cydnabyddwyd £5 0s. 4c. o'r swm hwn o'r blaen.) | | | |
| Libanus, Brynmawr | 10 | 0 | 0 |
| Rehoboth, Taliesin | 2 | 2 | 4 |
| Rock, Mynwy | 5 | 6 | 4 |
| Lodge, Sir Fflint | 3 | 9 | 2 |
| Cyfarfod Misol Dyffryn Conwy, trwy law y Parch. D. Morgan, Llansantffraid, y Trysorydd | 89 | 3 | 10 |
| Trefaldwyn Isaf, Sabboth Cenadol y Plant, trwy law Mr. Jehu, y Trysorydd | 2 | 12 | 1 |
| Llanbedr, Sir Feirionydd | 0 | 17 | 0 |
| Miss Evans, Llanbedr, tuag at gynnaliaeth U Khor | 0 | 10 | 0 |
| Anne a William Lewis, Llanbedr | 6 | 0 | 0 |
| Henaduriaeth Trefaldwyn, trwy law Mr. E. Morgan, Drefnewydd | 45 | 0 | 0 |
| Sir Benfro, trwy law y Parch. W. Powell | 16 | 1 | 7 |
| Treherbert | 14 | 0 | 4 |
| Pontardulais | 2 | 17 | 10 |
| A. M. Morgan, Treforris | 0 | 5 | 0 |
| Hawen, Rhydlewis, casglwyd gan I. a D. Thomas | 0 | 12 | 6 |
| Salem, Nantyglo | 4 | 0 | 0 |
| Llanfynydd, Sir Gaerfyrddin | 7 | 1 | 3 |
| Bwlchygroes, Sir Benfro | 2 | 6 | 4 |
| Dehau Aberteifi, trwy law Mr. D. H. Jones, Aberaeron, y Trysorydd | 87 | 7 | 3 |
| Bethel, Castell Newydd Emlyn | 13 | 0 | 0 |
| Llundain (ychwanegol) | 15 | 0 | 0 |
| Sir Frycheiniog, trwy law Mr. H. Davies, Aberhonddu, y Trysorydd Sirol | 52 | 13 | 0 |
| Henaduriaeth Mynwy, Morganwg, &c., trwy law Mr. John Williams, Merthyr Tydfil | 53 | 19 | 0 |
| Dinbych (Fron) | 2 | 0 | 10 |
| Corwen, casgliad y Plant | 4 | 3 | 0 |
| Tabernacl, Bangor, casgliad Sabboth y Plant i U Khor | 6 | 14 | 7 |
| Gorllewin Morganwg, trwy law Mr. W. Griffith, Taibach, y Trysorydd | 87 | 12 | 1 |
| Arfon, casgliad Sabboth Cenadol y Plant, trwy law Mr. H. Jonathan, Caernarfon | 19 | 15 | 1 |
| Sir Fynwy, trwy law Mr W. Hughes, Tredegar, y Trysorydd Sirol | 22 | 7 | 6 |
| Whitchurch, gerllaw Caerdydd | 2 | 4 | 10 |
| Blaencaron, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 14 | 0 |
| Neath (Saesoneg), eto | 0 | 11 | 6 |
| St. Bride's, eto | 0 | 7 | 3 |
| Bethel, Ystrad Rhondda, eto | 0 | 12 | 6 |
| Skelmersdale, eto | 0 | 18 | 0 |
| Graig, Pontypridd, eto | 0 | 3 | 3 |
| Williamstown, Awstralia | 9 | 0 | 0 |
| Bettws y coed, casglwyd gan y Plant | 2 | 12 | 10 |
| Maesycwmmwr, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 10 | 0 |
| Colwyn Bay, eto | 0 | 8 | 2 |
| Ebenezer, Newport, Sir Fynwy | 9 | 6 | 4 |
| Treffynnon, Sir Benfro | 2 | 1 | 3 |
| Sir Benfro (ychwanegol), trwy law Mr. H. Ll. Harris, U.H., y Trysorydd | 1 | 17 | 3 |
| Kidwelly, casgliad y Plant | 3 | 18 | 4 |
| Llanelli, Siloh, eto | 1 | 9 | 8 |
| Hirwaun, Dwyrain Morganwg | 6 | 3 | 10 |
| M. Lewis, Newport | 0 | 10 | 0 |
| Tregaron | 9 | 19 | 6 |
| Tyddewi, casgliad y Plant | 4 | 0 | 2 |
| Capel Siloh, Ebbw Vale | 4 | 19 | 10 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. W. Charles, y Trysorydd | 42 | 10 | 1 |
| Rehoboth, Llanberis, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 15 | 0 |
| Nebo, Llanllyfni, eto | 0 | 3 | 0 |

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Princes Road, Liverpool, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 4 | 11 |
| Arthog, Dolgellau, eto | 0 | 1 | 9 |
| Llanrug, eto | 0 | 4 | 2 |
| Blwch Cenadol plant W. Pritchard, Penmaenmawr | 0 | 15 | 7 |
| Gogledd Aberteifi, trwy law Mr. P. Williams, Aberystwyth | 9 | 14 | 3 |
| Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, trwy law Mr. P. Roberts, y Trysorydd | 117 | 7 | 1 |
| Llangwyllog, Sir Fôn, casgliad y Plant | 3 | 7 | 2 |
| Birmingham, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 11 | 4 |
| Sir Gaerfyrddin, trwy law Mr. J. Havard, y Trysorydd Sirol | 77 | 2 | 2 |
| Sir Fflint (ychwanegol), trwy law Mr. W. Jones, y Trysorydd Sirol | 9 | 14 | 7 |
| Henaduriaeth Lancashire (ychwanegol), trwy law Mr. E. Jones, Trysorydd | 20 | 0 | 0 |
| Gorllewin Meirionydd (ychwanegol) | 3 | 0 | 0 |
| Capel David Street, Liverpool, swm a dderbyniwyd trwy Ddarlith gan yr Ysgrifenydd | 2 | 0 | 0 |
| Heb enw, "At y Genadaeth" | 5 | 0 | 0 |
| Abergele, Cangen-Gymdeithas Genadol y Merched | 12 | 16 | 9 |
| Swm a gasglwyd gan Mrs. Hugh Jones, Beaumaris, tuag at Ysgoldŷ y Genethod yn Shillong | 3 | 1 | 0 |
| Cangen-Gymdeithas Genadol y Merched yn Bethesda, Arfon | 23 | 0 | 0 |
| Randolph, Wisconsin, America, Sabboth Cenadol y Plant, trwy law y Parch. D. R. Jones | 1 | 12 | 4 |
| Llandynan, Sir Fflint, Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 8 | 9 |
| Alice Evans, Bettws y coed | 0 | 5 | 0 |
| Mr. Jenkyn Davies, Canton House, Tredegar | 1 | 1 | 0 |
| A Friend of the Cause, trwy law Mr. O. Lewis, Niwbwrch | 0 | 10 | 0 |
| Blwch Cenadol, trwy law Mr. Williams, Gronant House | 0 | 8 | 3 |
| Graig, Bangor, casgliad Sabboth Cenadol y Plant | 0 | 17 | 0 |
| Penrhyndeudraeth | 11 | 5 | 7 |
| Capel Chatham Street, Liverpool | 55 | 4 | 3 |

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, ESQ., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

D.S. Gwneler Post Office Orders yn daladwy yn LIVERPOOL ac NID yn Birkenhead.

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 68 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 632.] MEHEFIN, 1883. [LLYFR LIII.

## PENARGLWYDDIAETH YR YSBRYD, AC ARWYDDION YR AMSERAU.

GAN Y PARCH. JOHN EVANS, ABERMEURIG.

II.

WEDI edrych ar weithrediadau yr Ysbryd yn nghychwyniad Cristionogaeth, mae genym sail wedi ei gosod i adeiladu arni. Eto nid ydym yn meddwl fod dull yr Ysbryd o weithredu yn yr adeg hon yn sicrhâu pa fodd y gweithreda mewn adegau eraill; byddem trwy hyny yn cyfyngu ar ei benarglwyddiaeth. Ond gan fod y Bibl yn rheol ein ffydd a'n hymarweddiad, ac felly yn llyfr egwyddorion, gallwn gymeryd ein dysgu ganddo oddiwrth yr hyn a 'u i beidio edrych ar bethau cyffelyb fel pethau dyeithr, pa bryd bynag y cymerant le, ac i ba raddau bynag. Mae byrdra, o anghenrheidrwydd, i fod yn un o nodweddion y fath lyfr; ond byrdra cynnwysfawr ydyw. Pan y mae yn rhoddi awgrym wrth fyned heibio ar ryw hanes, athrawiaeth, neu ddyledswydd, nis dylem edrych yn ddiystyr arno oblegid y byrdra, ond yn hytrach gymeryd yn ganiatäol mai galw ein sylw y mae at wythïen o gyffelyb ddefnyddiau sydd yn gorwedd yn ymyl. Nid yw ysgrifenydd llyfr yr Actau yn cymeryd arno brofi dim pan yn dywedyd am y gwahanol ddwylaw oedd yn cymeryd rhan y pryd hwnw yn efengyleiddiad y byd; ond dichon y gallwn ni gymeryd llawer oddiwrth yr hyn a ddywedwyd am yr oes hono, ac am oesoedd eraill hefyd. Wrth gymeryd hanes yr oes apostolaidd yn y goleu hwn, nid ydym yn meddwl fod un adeg yn hanes yr eglwys mor debyg iddi, oddiar hyny hyd yn awr, â'r dyddiau yr ydym ni yn byw ynddynt. Y pryd hwnw, at y gweinidogion cyffredin oedd ar y maes, dewisodd yr Ysbryd lïaws o wŷr lleyg i efengylu, a llïaws o ferched a gwragedd hefyd i brophwydo. Yn y blynyddoedd diweddaf hyn y mae yr oes hono fel pe byddai yn ail-adrodd ei hun, a phrophwydoliaeth Joel hefyd yn cael ei hail-gyflawni, ond i raddau helaethach. At yr ymwelwyr Americanaidd enwog, mae yma fyddinoedd cryfion yn awr wedi eu ffurfio, sydd yn proffesu cyrhaedd yr un amcan, ac wedi ymledu dros yr holl wlad, a llawer hefyd o'r byd.

Yn awr, mae yn briodol ymofyn, beth yw yr achos o ymddangosiad y rhai hyn? Paham y mae gweinidogaeth yr efengyl wedi myned gymaint allan o'i hen sianeli arferol? Neu yn hytrach, Paham y mae y gwaith oedd yn arfer cael ei wneyd gan bregethwyr yn cael ei wneyd yn awr gan ddynion eraill? Mae y symudiadau hyn o ymddangosiad mor ddyeithr, fel y mae llawer yn barod i ofyn, fel y gofynodd Sedecïah mab Cenaanah gynt i Michea, "Pa ffordd yr aeth Ysbryd yr Arglwydd oddiwrthyf fi i ymddyddan â thydi?" Daw rhywrai o hyd â'r newydd, "Y mae Eldad a Medad yn prophwydo yn y gwersyll," a rhai fel Josua yn tueddu i'w gwahardd, ac eraill fel Moses yn tueddu i ddywedyd, "O na byddai holl bobl yr Arglwydd

yn brophwydi, a rhoddi o'r Arglwydd ei Ysbryd arnynt!" Beth bynag, nid yw ond ynfydrwydd bellach peidio cydnabod bodolaeth y rhai hyn; mae eu llïosogrwydd yn fawr, a'u dylanwad yn parhâus ymledu. Gan hyny, gwell gofyn, Beth yw yr achos o hyn? Gallwn weled yn y Bibl pan oedd symudiadau newyddion yn cymeryd lle, bod rhyw achos neillduol ar y pryd yn galw am danynt, er eu bod wedi eu rhagfynegu er ys oesoedd; a byddai yr Arglwydd yn galw ystyriaeth neillduol y genedl atynt, fel pethau oedd wedi codi yn naturiol o'r amgylchiadau yr oeddynt hwy wedi dwyn y wlad iddynt. Diammeu ei bod felly yn awr, ac y gall aml un o'r rhai sydd allan o'r drefn gyffredin ddyweyd, fel y dywedodd Dafydd y bugail defaid wrth ei frodyr oedd yn rhyfelwyr rheolaidd, "Yr hyn a wnaethum i yn awr, onid oes achos?" Mae gwaith heb ei wneyd gan wersyll Israel, nas gall Saul sydd o'i ysgwydd i fyny yn uwch na'r holl bobl, ac nad all neb arall chwaith, ei wneyd. Trwy y bugail defaid ieuanc gwridgoch yr oedd Duw i gael mwyaf o ogoniant yn y rhyfel hwnw. Mae yn amlwg fod rhyfeloedd cyffelyb i gael eu dwyn ymlaen yn ein gwlad ninnau. Annheg yw dyweyd mai o'r diafol y mae y symudiadau newyddion hyn. Mae ganddynt ryw gloff, fel Pedr ac Ioan gynt, wedi ei iachâu; ac y mae hwnw yn ddadl rhy gref o'u plaid, fel nad oes dim i'w ddywedyd yn eu herbyn yn yr ystyr hwn. Dichon fod rhyw bethau annymunol o'u cwmpas, fel llawer o bethau newyddion; ond os ydynt yn gwneyd gwaith oedd eisieu ei wneyd, a'r wlad yn gwel'a dan eu dylanwad, rhaid dyweyd fod cenadaeth wedi ei hymddiried iddynt oedd yn cael eu hesgeuluso gan eraill. A'n gwaith ar hyn o bryd fydd ymofyn pa rai oedd y diffygion, y rhai y gwelir yn amlwg fod ymddangosiad y symudiadau newyddion yn eu cyflenwi, neu yn ymdrechu gwneyd hyny.

Gwnawn edrych yn benaf ar y diffygion yn ein plith ni fel enwad; ac wrth wneyd hyny, gallwn weled eu bod yn bodoli ymysg yr holl enwadau eraill hefyd.

1. *Diffyg gweinidogaeth eglur ac agos.* Yr oedd gormod o ymgais am bethau cywrain, am ddrychfeddyliau tarawiadol, am ehediadau bard lonol uchel, ac am dlysni ardlull, gan esgeuluso ymdrechu am wneyd y cwbl yn ddealladwy i bob dosbarth o'r gwrandäwyr. Mae yn wir fod eisieu coethi chwaeth llawer, a dyrchafu eu meddyliau at fawrion weithredoedd Duw, ac athrawiaethau datguddiad; ond dylid cofio fod mwyafrif y gwrandäwyr yn mynu aros mewn tywyllwch er pob ymdrech i'w goleuo. Gwnaeth y dull newydd o bregethu gyda chodiad yr Athrofeydd newid llawer ar dôn dosbarth goreu gwrandäwyr yr efengyl, fel yr aeth yr hen *style* a'r *style* newydd o bregethu yn safon eu barn am deilyngdod neu annheilyngdod pob dyn ieuainc o bregethwr. Effeithiodd hyny bob yn ychydig ar addysg yr eglwys a'r Ysgol Sabbothol. Ceiswyd codi yr oll i ateb i'r dull newydd hwn o bregethu; a thrwy hyny daeth y bobl i edrych gyda gradd o ddirmyg ar yr hen ddull eglur o osod allan wirioneddau yr efengyl. Llwyddwyd i godi meddwl llawer at y pulpud a'r Ysgol Sabbothol; ond ychydig oedd y cyfryw mewn cymhariaeth i'r llïaws eraill oedd yn aros mewn sefyllfa isel o wareiddiad a gwybodaeth. Gwnaeth y diwygiad diweddaf lawer er dyfod â'r pregethau yn fwy eglur a chyfeiriol. Ond er y cwbl, yr oedd y rhan fwyaf o'r pregethau uwchlaw amgyffred miloedd o'r gwrandäwyr, a llawer o'r cyfryw y dysgwylid pethau gwell oddiwrthynt. Mae y rhan fwyaf o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol yn fwy anwybodus nag y mae llawer yn meddwl eu bod. Nid ydynt yn agor y Bibl nemawr byth ond yn yr Ysgol, nac un llyfr arall chwaith. Gwneir ymdrech mawr mewn llawer o ardaloedd gyda dosbarthiadau Biblaidd; ond torcalonus yw meddwl mor ychydig yw y rhai sydd yn eu mynychu; rhyw ddwsin, a llai yn fynych mewn eglwys o dri chant neu ragor o aelodau. A digon tebyg y gall hyn fod yn ddangoseg bur gywir o deimlad y llïaws gyda golwg ar y wybodaeth oreu. Ac y mae lle i ofni am rai a ystyrir yn oleuedig, nad ydynt yn deall cymaint ag y cymerir yn ganiataol mewn llawer o bregethau eu bod; a phrofir hyny yn fynych trwy fod y cyfryw yn mawrygu pregethau syml ac eglur yn gystal â neb. Camgymerodd un gweinidog duwiol ei bregeth, pan ddaeth ei dro i bregethu o flaen George III.; a gorfu

arno bregethu un o'r rhai oedd wedi bregethu i'w blwyfolion, er gofid mawr iddo ei hun. Daeth y brenin ato ar ol yr odfa, a chyfarchodd ef yn garedig, gan ddiolch iddo am ei bregeth dda. Gwnaeth yntau ymddiheurad trwy amlygu ei anffawd. "Wel," meddai y brenin, "pa bryd bynag y deloch yma eto, cofiwch ddyfod âg un o'r pregethau fyddwch wedi bregethu i'ch plwyfolion tlodion; dyna y fath bregethau sydd yn gweddu i mi." Mae Moody, Spurgeon, ac eraill, wedi gweled angen yr oes yn hyn—y ddau a nodwyd mewn cyfaddasu eu gweinidogaeth i gyfarfod pob dosbarth, ac eraill i gyfarfod â'r dosbarth iselaf.

2. *Diffyg gweinidogaeth gynhyrfus.* Byddai cael addysg eglur ac agos yn y pulpud a lleoedd eraill yn dda yn ei le at ddeffro y gydwybod a chynnyrchu teimlad yn y gwrandäwyr; ond gall fod hefyd yn wahanol. Gellir dyweyd gwirioneddau yn ddigon eglur i bawb eu deall, ond ar yr un pryd yn rhy goeth, marwaidd, a melfedaidd, i ddeffroi meddwl lliaws o'r gwrandäwyr. Mae gweinidogaeth gynhyrfus yn un frwdfrydig, llawn o deimlad ac eiddigedd dros y gwirionedd, a llawn o awydd angerddol am iddo gyrhaedd ei amcan. Gall addysg felly fod yn llym, garw, a miniog; gall yr iaith fod yn drwsgl, a'r brawddegau a'r cysylltiadau yn annhrefnus; ond bydd yr ysbryd rhagorol, a'r amcan da, yn gwneyd i fyny am y cwbl, a hyny gyda phob dosbarth o'r gwrandäwyr. Gweinidogaeth felly ddaw â dynion i deimlo gwirionedd yr hyn a ddywedodd Duw am ei air, "Onid yw fy ngair i megys tân, medd yr Arglwydd, ac fel gordd yn dryllio y graig?" Ond cyn y bydd felly, rhaid i rywrai orfod dyweyd fel Jeremïah, "Ei air ef oedd yn fy nghalon yn llosgi megys tân, wedi ei gau o fewn fy esgyrn, a mi a flinais yn ymattal, ac ni allwn beidio." Mae yr Arglwydd eto yn dyweyd am ddynion felly, fel y dywedodd wrth Jeremïah, "Wele, rhoddais fy ngeiriau yn dy enau di, a gosodais di ar y cenedloedd, ac ar y teyrnasoedd, i ddiwreiddio ac i dynu i lawr, i ddyfetha ac i ddystrywio, i adeiladu ac i blanu." Bydd gweinidogaeth o'r fath yna yn sicr o fod yn gynhyrfus eto fel cynt. Buwyd yn cwyno am flynyddoedd fod gormod o unrhywiaeth wedi myned yn y weinidogaeth; a rhoddid y bai o hyny gan mwyaf ar y colegau, pawb wedi myned i bregethu yn ysgoleigaidd, manwl, a choeth; ac os na byddent felly, ni fyddent yn gymeradwy. Wel, gwell heb golegau? Na, nid felly, neu gwnawn gam â'r diwygwyr mawr, fel Whitfield a Wesley yn Lloegr, Rowlands a Harris yn Nghymru, Luther ar y Cyfandir, Knox yn Scotland, y rhai a gawsant i gyd lawer o fanteision addysg athrofäol. Os oes bai yn bod yn rhywle, yn y camddefnydd a wneir o'r addysg y mae, gan y dynion a anfonir i'r colegau, a chan yr eglwysi sydd yn eu hanfon, trwy ymddibynu gormod ar yr addysg fel cymhwysder i'r weinidogaeth, a dysgwyl gormod wrtho. Yr ydym yn cofio clywed y dosbarth darllengar yn gorfoli y pregethau traethodol, athronyddol, a chywrain, a fyddent yn gael gan wŷr yr athrofeydd; ac wrth reswm yr oedd y bobl nad oeddynt yn deall yn cymeryd eu harwain ganddynt, fel yr oedd pawb i gymeryd yn ganiataol mai pregethau felly oedd i fod mwy, a bod yn rhaid i addysg yr Ysgol Sabbothol ateb iddo, a bod yr oes euraidd mewn gwybodaeth a diwylliant wedi dyfod o'r diwedd. Yr oedd llawer mewn newydd-deb felly i foddloni cywreinrwydd a chwilfrydedd y dosbarth ymofyngar; ond nid oedd fawr ynddo at wneyd y chwyldröad a welir wrth arloesi anialwch, dryllio y graig, a rhuthriad y corwynt a'r llifeiriant yn erbyn galluoedd natur. Nid yr un driniaeth sydd eisieu ar dir anial er ei gymhwyso i godi ŷd â'r tir sydd eisoes yn ddiwylliedig, er fod yn rhaid i hwnw wrth ryw driniaeth barhaus. Mae genym filoedd o wrandäwyr nad oes dim digon o'r cynhyrfus yn y pregethau, nac un addysg arall, i wneyd iddynt deimlo dim; ac y mae canoedd o ddynion i'w cael nad ydynt yn myned i un lle o addoliad byth, oblegid nad oes yno ddim i'w cynhyrfu. Er ys tua deng mlynedd ar hugain yn ol, os nid mwy, ar ol i'r bobl weled fod yr amrywiaeth oedd yn adfywio a chynhyrfu wedi cilio o'r pulpud a'r Ysgol Sabbathol, aethant i ddechre arlwyo iddynt eu hunain trwy gyfarfodydd cystadleuol, a phethau cyffelyb. Rhoddwyd y cyfryw i fyny wedi dechre cynhwrf y diwygiad diweddaf; ond wedi i'r cynhwrf lonyddu, aethant yn ol at eu gwleddoedd eu hunain drachefn. Y

gwirionedd yw, rhaid i lawer, yn enwedig o'r Cymry, gael rhyw foddion er eu cynhyrfu yn fynych, neu ymhell o'r lle y dylent fod y ceir hwy. Mae hyn yn wir, nid yn unig am y rhai anfoesol, anwar, a barbaraidd, ond hefyd am filoedd o grefyddwyr proffesedig. Na chamsynier trwy geisio meithrin meddyliau gwell am danynt. Mae y symudiadau newyddion tuag at gynhyrfu ein gwlad yn ddigon i brofi hyn. Ni fu cymaint o gyrchu i wrando neb wedi Rowlands, Llangeitho, ag a welwyd yn dyfod ar ol y ddwy efengyles o'r Deheudir, pan oeddynt mewn rhan o Sir Aberteifi yn ddiweddar. Yr oedd yno lawer wedi dyfod o bellder o bymtheg ac ugain milldir. Nid oes yr un rheswm i'w roddi dros hyn ond fod yno rywbeth oedd yn newydd a chynhyrfus, a bod mwyafrif y bobl yn barod i wneyd pob aberth er mwyn cael peth felly. Yr oedd yno rai ugeiniau nad oedd ganddynt amser i ddyfod i'w capelau eu hunain ar hyd yr wythnos i'r cyfarfodydd cyffredin, ond yn cael digon o amser y pryd hwnw i'w dreulio at grefydd heb wneyd fawr ddim ond hyny, am ddeuddydd neu dri. Oblegid dynion pylog o'r fath yma sydd yn ymddangos mor agos i'r nefoedd mewn cynhyrfiadau, ac mor bell oddiyno ar amserau eraill, mae yn ddigon i beri i ni edrych yn rhagfarnllyd ar foddion cynhyrfus, a'r teimladau a gynnyrchant. Ond nid yn ngoleu poblach anwadal felly y dylem edrych ar y cynhyrfiadau o gwbl, gan fod yn ddigon amlwg fod eu hanghen ar ddosbarthiadau eraill; ac y mae yn ddigon eglur fod anghen gweinidogaeth yr efengylesau ac eraill yn y dyddiau hyn ar y rhan fwyaf o bawb; a gobeithio yr ydym mai yn eu blaen yr ä y symudiadau, a'y cawn lawer o bethau mwy nerthol eto. Os argyhoeddir pechaduriaid annuwiol, ac os deffroir eglwysi cysglyd, ni wneir hyny heb gynhyrfiadau. Digon tebyg fod anghen ar bob oes, i raddau mwy neu lai, am weinidogaeth felltenog a tharanllyd Sinai, er eu dwyn i werthfawrogi tawelwch a thangnefedd mynydd Sïon.

3. *Diffyg gofal priodol am ddosbarthiadau iselaf cymdeithas.* Dichon y gellir dyweyd fod y rhai iselaf o ran eu hamgylchiadau, a'r rhai iselaf o ran eu cymeriadau, yn cael eu hesgeuluso yn ormodol, sef y tlodion a'r anfoesol. Mae gormod o'r elfen bendefigaidd wedi ymlusgo i fewn i'n plith, a hono yn cael ei harfer yn groes i'r teimlad sydd yn gwneyd pawb yn ostyngedig i'w gilydd. Yr oedd rhywbeth yn ddymunol i rai yn yr enwad Methodistaidd cyn yr ordeiniad yn 1811, pan oedd mawrion y wlad yn ei bleidio, ac yn mynychu ei gapelau a'i gyfarfodydd; ac fe allai ei fod yn naturiol i enwad a fu felly am amser maith wneyd ei oreu i gyrhaedd y safle hono eto, neu safle debyg iddi. Ond ni ddylid gwneyd hyn heb barhâu i gymeryd gofal am y tlodion, ac yn enwedig plant y tlodion. Mae capelau am yr harddaf yn beth dymunol, a chael y weinidogaeth a ystyrir yn oreu iddynt; ond gellir cael hyny ar draul esgeuluso llawer o bethau dymunol eraill.

(1.) Gall cynnulleidfa gref fyned yn rhy ddifater yn ei darpariaeth ar gyfer y tlodion a'r anfoesol yn ei chymydogaeth ei hun. Wedi i'r dosbarthiadau hyn weled capel drudfawr, a chynnulleidfa yn rhoddi ei hunan i fyny ynddo yn ol dull mwyaf boneddigaidd yr oes, yr oeddynt yn gweled nas gallent hwy fforddio bod mwyach yn eu plith, a gwell oedd ganddynt "fyned," ys dywedai y diweddar Barch. Edward Jones, Aberystwyth, "i dŷ y plwyf (Eglwys Wladol), ac i fyw ar y plwyf." Mae gan yr Eglwys ei boneddigion, y rhai all yn hawdd borthi a dilladu y tlodion os cymerant at hyny er mwyn eu henwad. Ond nid all cynnulleidfa o Ymneillduwyr wneyd hyny, pa mor gref bynag, oddieithr ei bod yn eithriadol iawn, gyda myned ymlaen â'r achos fel y maent.

(2.) Gall cynnulleidfäoedd mawrion a chryfion fod yn rhy ddifeddwl am gynnulleidfäoedd bychain a gweiniaid. Mae hyn yn ffaith amlwg heddyw gyda'r Methodistiaid, sydd yn proffesu bod yn Gorff; llawer o gynnulleidfäoedd yn byw yn foethus Sabboth ac wythnos, a chynnulleidfäoedd eraill yn eu hymyl yn gwywo o eisieu gofal a chynnaliaeth. Mae tlodion y gymydogaeth a esgeulusir gan un gynnulleidfa fawr, yn cael ei wneyd ar raddfa eangach gan yr holl Gyfundeb, wrth fod yn rhy ddiofal am y cynnulleidfäoedd bychain. Pa faint bynag a ddywed rhai yn erbyn y Gronfa Gynnaliaethol, nid ydym ni yn gweled dim sydd yn fwy anghenrheidiol i'r Cyfundeb fod yn

ei gylch y blynyddoedd hyn, os yn meddwl dal ei ffordd a chwanegu cryfder; nid cronfa i aros felly, ond cronfa i fod mewn gwaith cyson.

Mae gweled cynnydd a chryfder mawr yn peri teimlad o foddlonrwydd a hunanfoddhâd, a hyny, heb ysbryd priodol, yn arwain i sefyllfa anwyliadwrus a diwaith. Mae arwyddion amlwg yn ein mysg mai dyma ein sefyllfa i raddau gormodol. Mae cynnydd yn rhif ein haelodau er ys blynyddoedd i'w briodoli gan mwyaf i ymdrech y brodyr a'r chwïorydd sydd yn myned ar hyd y wlad fel diwygwyr. Ond er y cwbl, nid oedd digon o ymdrech i gyrhaedd dosbarth isaf cymdeithas, a dichon fod hyny i'w briodoli i'r sefyllfa ydym wedi nodi. Dywed y Parch. James Wells, fod "y safon fydol o barchusrwydd yn dyfod yn beth anmherthynasol, ac yn felldith, y fynyd y daw i fewn i eglwys Dduw. Mae yn glefyd gwenwynig sydd yn nychu ac yn lladd ei hysbryd cenadol. Yn y gwaith o efengyleiddio y byd, mae yn rhaid i ni fyned yn groes yn fynych i safon y byd hwn o barchusrwydd. Nid ein hawydd a ddylai myned i fyny, ond myned i lawr. Yr hwn sydd yn gallu myned i lawr iselaf, yw yr uchaf mewn Cristionogaeth; y gwaethaf yw y goreu, a'r olaf yw y blaenaf. Fel canlynwyr Crist yr ydym i weled llawer o attyniad i ni mewn anwybodaeth, anfoesoldeb, a thrueni. Mae yr Arglwydd yn gorchymyn yr eglwys i fyned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau, ac i gymhell dynion i ddyfod i mewn fel y llanwer y tŷ. Dywed Dr. Talmage, "Os yw yr heliwr am gael gafael yn yr *antelope*, rhaid iddo fyned allan i'r anialdiroedd lle mae i'w gael. Mae llawer o'r dynion fyddai yn fwyaf o wasanaeth i Grist a'i eglwys yn aros yn guddiedig; ni chawn hwy ar ein llwybrau arferol ni. Os ydym am eu cael, rhaid i ni fyned atynt i'r seler, neu i'r *garret*. Maent mor bell oddiwrth ddrws yr eglwys fel nad all saeth y weinidogaeth gyffredin eu cyrhaedd. Gall dosbarthwr traethodau, a'r cenadwr dinesig, gael ambell gipdrem arnynt. Y gwaethaf yw ein bod yn dysgwyl yr helwriaeth i ddyfod atom; dysgwyl aderyn y *prairie* i ddisgyn ar glochdŷ yr eglwys; ond nid dyna eu harfer. Pe byddem yn dysgwyl am ddeng miliwn o flynyddoedd ar y byd i ddyfod atom i gael ei achub, byddai yn ofer. Y peth sydd yn eisieu ar yr eglwys yw codi ei thraed o'r *damask ottomans*, a'u gosod yn y gwartholion i fyned allan am helwriaeth. Mae eisieu arnom gael pulpud ar olwynion. Nid oes cymaint o anghen ar yr eglwys am glustogau y dyddiau hyn ag sydd arni o anghen offer yr heliwr. Dylem roddi o'r neilldu y gŵn hir, a'r menyg *kid*, a gwisgo mantell yr heliwr. Yr ydym wedi bod yn ceisio dal pysgod mor hir yn y nentydd sydd yn rhedeg dan gysgod yr eglwys, fel y mae y pysgod yn awr yn ein hadnabod, a gochelyd y bâch fel y mynont, pan draw y mae *Upper Saranac* a *Big Tupper's Lake*, lle y byddai tafliad cyntaf y rhwyd yn ei thori gan y lliaws pysgod." Dyna'r gwaith oedd âg eisieu ei wneyd, ond neb o'r gweithwyr rheolaidd yn barod iddo; ac oblegid hyny cododd yr Ysbryd y gweithwyr presennol at ei gyflawni yn effeithiol, wedi eu cymhwyso i fyned at ddosbarth isaf y trefydd, i'r heolydd cefn, a'r ystafelloedd dryg-sawrus a budr, a llefaru wrthynt mewn iaith a allont ddeall, a bod yn ddigon amyneddgar i ddal atynt nes llwyddo i'w hennill.

Yr ydym, er ys blynyddoedd, wedi bod yn sylwi ar yr ymdrechion mewn cysylltiad â'r achos dirwestol; ond nid ydym wedi gweled yn y gâd fawr o gewri yn bloeddio i'r frwydr. Hysbysir ni fod gwŷr blaenaf ein Cyfundeb wedi dyfod allan gyda'r achos hwn pan y cychwynodd gyntaf yn Nghymru, ac oblegid hyny i'r achos ennill yr eglwysi a'r cynnulleidfaoedd yn bur gryno o'i blaid. Ond nid felly y mae wedi bod yn yr ugain mlynedd ddiweddaf; nid yw yr eglwys fel eglwys wedi symud gyda'r achos o gwbl. Rhyw bobl gyffredin sydd yn codi, a'r rhai hyny ond bychan eu dylanwad, a'r bobl a gyfrifir yn oreu, ac yn wir yr eglwysi yn gyffredin, yn cadw ymhell oddiwrthynt, ac fel yn dyweyd, "Sancteiddiach ydym ni na chwi." Ac fel hyn y mae dirwest wedi bod yn hir dan gwmwl o ran ei pharchusrwydd. Y mae ambell i bwyllgor wedi ei sefydlu, ac ambell araeth wedi ei thraddodi, yn rhywle tua'r nefolion leoedd; ond nid oedd y rhai hyny yn esgor ar ddim gwaith oedd yn effeithiol i gyrhaedd y lliaws oedd âg anghen dirwest arnynt. Yr oedd gormod o rwymo yr Ysbryd i

leoedd uchel, gan fod yn rhy ochelgar i ddifwyno y traed a'r gwisgoedd, a chynhyrfu yr hunan-esmwythder, trwy fyned i'r anialwch i geisio y golledig nes ei chael. O'r diwedd cododd Duw ymwared o le arall. Y mae miloedd o fechgyn a merched dewrion wedi anturio i'r anialwch, ac yn dadrys y praidd o'r drain a'r mïeri, a llawer o'r pyllau budron yr oeddynt wedi syrthio iddynt yn cael eu codi, a'r oll yn cael eu dwyn yn ol at gorlan Duw. Ai yr eglwys fel eglwys sydd yn gwneyd y gwaith? Nage, ond y mae yn edrych arno gyda llawenydd, ni a obeithiwn, fel gwraig foneddig yn edrych ar weithwyr dewrion yn gwneuthur anturiaethau nad yw ei sefyllfa hi yn caniatâu iddi ei gwneyd. "Mae yn yr oll wers bwysig," meddai un o'n henwogion yn ddiweddar, yr hwn sydd yn awr ar fin ei fedd; "nis gallaf fi lai na theimlo cywilydd arnaf wrth ei gweled. Gwers galed yw hi, frodyr, ond rhaid ei dysgu." Gobeithio y gwneir ni oll yn bur o galon i weled Duw yn y symudiadau rhyfedd hyn. Rhaid rhoddi i fyny am y tro hwn. Yn y cyfamser, dyweded y gydwybod yn rymus wrth bob un o honom,

"Gweithia, gweithia, dros dy Arglwydd!
Popbeth yn dy alw sydd;
Gweithia gyda phob parodrwydd,
Gwna a allot yn dy ddydd.

"Cofia nad oes genyt yma
Ond rhyw adeg fer yn wir;
Deffro ati, gweithia, gweithia!
Cei orphwyso cyn bo hir."

---

## CYNNYDD Y CYFUNDEB A CHYNNYDD Y BOBLOGAETH.

GAN WEINIDOG.

Cyfeiriasom yn ein sylwadau o'r blaen at ffaith lawn o gysur a chalondid i bawb sydd yn teimlo ymlyniad wrth drefn eglwysig a syniadau athrawiaethol y Methodistiaid Calfinaidd, sef fod y cyflawn aelodau wedi cynnyddu 28 y cant, tra nad yw y boblogaeth wedi cynnyddu 11¾ y cant, yn y deng mlynedd diweddaf. Yn awr, ni a awn ymlaen i godi'r llèn oddiar fater dyddorol arall, nas gall lai na chynhyrfu chwilfrydedd y darllenydd. Ni a geisiwn ddangos pa beth yw nerth cymharol y Cyfundeb ymhob Sir yn y Dywysogaeth.

Naturiol i bob un feddwl yn uchel o'i Sir ei hun, a chredu mai yn ei Gyfarfod Misol ef y mae mwyaf o yni, gweithgarwch, a zel, yn yr holl Gorff. Y mae pob dyn i raddau mwy neu lai yn cael ei lyncu i fyny gan y pethau sydd o'i amgylch fel nad yw yn gweled y pethau mawr sydd ymhell. Edrychai seryddwr unwaith ar y cyrff nefol trwy ei yspïenddrych, a gwelai anghenfil yn dyfod ac yn llyncu y ser sefydlog a'r planedau. Symudodd yr yspïenddrych, a gwelodd fod y nefoedd serenog fel o'r blaen. Pa beth oedd wedi dygwydd? Trychfilyn bychan (*insect*) oedd yn cerdded ar un o'r gwydrau o fewn yr yspïenddrych; ac er ei fod yn fychan a dirmygus, eto am ei fod yn ymyl llygad yr edrychydd, gallai guddio heuliau llachar, tanbaid, y rhai oedd yn y pellder. Y mae llawer yn teimlo y dyddordeb dyfnaf yn eu cylch bychan, lleol, eu hunain, ac yn barod i feddwl mai ar y pegwn hwnw y mae'r greadigaeth yn troi. Teimlad gwerthfawr yw hwn wedi'r cwbl, er ei fod yn aml yn gysylltiedig â chulni ac anwybodaeth. Pa fyddin a allai ennill buddugoliaeth heb *esprit de corps* yn ei chatrodau? Y cadfridog sydd i gymeryd golwg gyffredinol ar ei holl ranau, ac ar y maes ar ba un y mae i weithredu. Eto weithiau goddefir i filwr cyffredin ddringo i ben bryn, a syllu ar yr holl wersyll. Gwêl oddiyno y milwyr yn dryfrith mewn rhai manau, ac mewn manau eraill yn hynod deneu; y meirchfilwyr mewn un man, a'r traedfilwyr mewn man arall; y câdwylwyr a'r cyflymsaethwyr o flaen y fyddin, a'r magnelau mawrion o'r tu cefn iddi. Arwain y darllenydd i safle fanteisiol i gael golwg ar y gwersyll Methodistaidd a fydd ein hamcan ni yn y sylwadau hyn. Y mae'r meirchfilwyr yn lïosog iawn. Y maent yn carlamu o gapel i gapel, o ddechre y flwyddyn hyd ei diwedd. Gellir eu gweled yn frith ar hyd gorsafoedd unrhyw ddydd Sadwrn yn prysuro i wneyd ymosodiad ar amddiffynfeydd y gelyn. Un yma ac acw sydd o'r magnelau mawr; ac nid ydynt braidd byth yn tanio ond ar ddiwrnod brwydr lled bwysig, ac yn enwedig ar ddiwrnod brwydr gyffredinol, pan y mae'r holl gatrodau yn anfon milwyr i'r *front*. Gwastraff ar nerth yw defnyddio y gynau hyn ar achlysuron bychain dibwys cyffredin. Am y gwŷr traed, y rhai sydd yn cadw o fewn cylch penodol o amgylch y gwersyll, y maent yn hynod o brin. Byddin o wŷr meirch, magnelwyr, a chyflymsaethwyr hyd yn hyn ydyw yr Hen Gyfundeb. Brysied yr amser pan fyddo'r gwŷr traed yn llawer iawn lïosocach; ond byth na wawried y bore pan y byddo'r holl fyddin yn gynnwysedig o ddim ond *infantry*.

Yn awr, ymha ranau o'r wlad y mae'r fyddin Fethodistaidd yn gref, ymha fanau y mae yn ganolig, ac ymha ranau y mae mor eiddil fel mai prin y mae yn alluog i ddal ei thir? Ateb y cwestiwn hwn yw ein hamcan wrth anfon y rhestr isod i'r DRYSORFA.

| Enwau y Siroedd. | Rhif y Boblogaeth. | Rhif y Gwrandäwyr. |
|---|---|---|
| Mynwy ........................ | 210,405 | 10,590 |
| Penfro ........................ | 91,808 | 6,153 |
| Maesyfed (1871) ........ | 25,430 | 1,750 |
| Brycheiniog (1871) ........ | 59,201 | 4,772 |
| Morganwg ........................ | 511,672 | 48,752 |
| Caerfyrddin ........................ | 124,861 | 17,626 |
| Dinbych ........................ | 108,931 | 18,353 |
| Trefaldwyn ........................ | 65,798 | 14,778 |
| Fflint ........................ | 80,373 | 19,047 |
| Aberteifi ........................ | 70,226 | 24,263 |
| Caernarfon ........................ | 119,195 | 44,838 |
| Môn ........................ | 50,964 | 19,638 |
| Meirionydd ........................ | 54,793 | 24,331 |

Nid yw y daflen uchod yn ddangoseg perffaith deg o nerth Methodistiaeth ymhob Sir am ddau reswm.

1. Nid oes dim cyfrif gofalus yn cael ei gymeryd o'r gwrandawyr, oblegid nid oes yr un restr yn cael ei chadw o honynt. Nid oes gan y diaconiaid, wrth lenwi taflenau yr ystadegau, ddim i'w wneyd ond rhoddi amcangyfrif yn unig. Gan nad oes ganddynt yr un reol i weithredu wrthi, y maent yn gwbl wrth ac at drugaredd eu teimlad a'u dychymyg yn y mater. Ond os cymerir holl swm rhifedi y gwrandäwyr, y mae y swm hwn yn lled debyg o fod yn agos i'r gwirionedd; oblegid os oes rhai swyddogion yn gosod rhif eu gwrandäwyr yn fwy nag y dylasent fod, y mae eraill yn eu gosod yn llai; ac y mae'r gormodedd a'r diffyg yn mantoli eu gilydd. Rhif y cyflawn aelodau yn awr yw 119,355, neu mewn rhifedi cyfan, dyweder 120,000; a rhifedi y gwrandäwyr 274,605; neu dyweder mewn rhifedi cyfan, 280,000. Oddiwrth y ffaith hon gellir casglu y rheol,—*fod y gwrandawyr yn lliosocach 2⅓ na'r cyflawn aelodau.* Yr oedd nifer ein haddoldai yn 1880 yn 1,252, ac eisteddleoedd ynddynt i 375,605 o wrandäwyr. Wrth ystyried nifer y cyflawn aelodau, a rhifedi yr eisteddleoedd, y mae 280,000 yn ffigiwr cymedrol i gynnrychioli y gwrandäwyr er mai amcan-gyfrif ydyw.

2. Ystyriaeth arall sydd yn peri nad yw y ffigyrau uchod yn ddangoseg berffaith deg o nerth Methodistiaid ymhob Sir yw, nad yw y Gyfarfod Misol yn gorchuddio y Sir i gyd, a dim ond y Sir. Y mae rhanau o Sir Ddinbych yn perthyn i bedwar neu bump o Gyfarfodydd Misol; ac nid oes ond un neu ddau o Gyfarfodydd Misol yn y Gogledd, ac fe allai ddim un yn y De, yn cydredeg â therfynau y Sir. Er hyn i gyd, dyma yr unig ffeithiau sydd genym fel safon i farnu oddiwrthynt pa beth yw nerth Methodistiaeth yn ngwahanol Siroedd Cymru. Os oes ychydig eiddigedd esgusodol, a chydymgais ganmoladwy, yn bod rhwng y Cyfarfodydd Misol—os oes dadleu pwy sydd wedi cymeryd meddiant llwyraf o'r tir a ymddiriedwyd i'w ofal,—dyma restr i dd'od â'r ddadl i derfyniad.

| Enw y Sir. | Rhan y Methodistiaid o'r Boblogaeth. |
|---|---|
| Meirionydd .................... | $\frac{1}{2}$ a $\frac{1}{4}$ o $\frac{1}{2}$ |
| Môn .................... | $\frac{1}{2}$ a $\frac{1}{2}$ o $\frac{1}{2}$ |
| Caernarfon .................... | $\frac{1}{2}$ a $\frac{3}{4}$ o $\frac{1}{2}$ |
| Aberteifi .................... | $\frac{1}{3}$ |
| Fflint .................... | $\frac{1}{4}$ a $\frac{1}{4}$ o $\frac{1}{4}$ |
| Trefaldwyn .................... | $\frac{1}{4}$ a $\frac{1}{8}$ o $\frac{1}{4}$ |
| Dinbych .................... | $\frac{1}{6}$ |
| Caerfyrddin .................... | $\frac{1}{7}$ |
| Morganwg .................... | $\frac{1}{12}$ |
| Brycheiniog .................... | $\frac{1}{12}$ a $\frac{1}{2}$ o $\frac{1}{12}$ |
| Maesyfed .................... | $\frac{1}{12}$ |
| Penfro .................... | $\frac{1}{15}$ |
| Mynwy .................... | $\frac{1}{20}$ |

Mae amryw o eglwysi Henaduriaeth Mynwy yn Sir Forganwg; ac felly y mae Methodistiaeth ychydig yn gryfach yn Morganwg na $\frac{1}{12}$, ac yn wanach yn Mynwy na $\frac{1}{20}$. Diau hefyd fod Sir Ddinbych yn llawer mwy Methodistaidd na Threfaldwyn a Fflint. O dair ar ddeg o Siroedd Cymru y mae tair yn cael eu meddiannu yn brysur gan yr iaith Saesoneg, sef Penfro, Mynwy, a Brycheiniog, ac un wedi ei goresgyn yn gwbl ganddi. Pa beth yw y canlyniad o hyn? Graddol ddilëad o fodolaeth y Cyfundeb Methodistaidd. "O nad ysgrifenid hyn yn y graig dros byth, â phin o haiarn ac â phlwm!" Yn amser Howell Harris, pa Siroedd o fewn yr holl Dywysogaeth a daniwyd gan fflam y Diwygiad Methodistaidd fel Brycheiniog a Maesyfed? Ond pa beth yw eu cyflwr yn awr? Y mae Maesyfed wedi newid ei hiaith, a'r Methodistwedi ei cholli oll ond $\frac{1}{12}$. Y mae Brycheiniog yn y traws-symudiad *(transition)*

a'r Cyfundeb yn y cyflwr truenus o eiddil o $\frac{1}{17}$ o'r boblogaeth. Am Benfro a Mynwy, gwell genym beidio dyweyd dim, am nas gallwn gael iaith digon cref i gondemnio y dallineb a'r rhagfarn sydd wedi bod yn y ddwy yn ddinystr i'r Cyfundeb. Dyma ddwy Sîr yn cael eu graddol oresgyn gan yr iaith Saesoneg, a'r Cyfundeb Methodistaidd yn y gyntaf yn $\frac{1}{15}$, ac yn y diweddaf yn llai na $\frac{1}{20}$ o'r boblogaeth. Ai yn y cyflwr hwn o eiddilwch a nychdod y buasent pe buasai addoldai wedi cael eu codi mewn pryd o flynyddoedd cyntaf bywyd y Parch. Morgan Howells a'r Parch. Thomas Richard? Dylem ni sydd yn fyw yn awr wrido wrth edrych ar eiddilwch Methodistiaeth yn Nghaerdydd a Chasnewydd. Onid yw poblogaeth y lle diweddaf yn 35,000, neu 40,000? A all y Methodistiaid hawlio ynddi 300 o gyflawn aelodau? Dychymygol oedd darlun Macaulay o gyflwr gresynus y wlad hon pan y bydd gwareiddiad a masnach wedi ymfudo i'r Gorllewin, a brodor o New Zealand yn sefyll ar fwa drylliedig o Bont Llundain ac yn syllu ar adfeilion yr hen brifddinas a fuasai unwaith mor gyfoethog ac ardderchog. Ond nid dychymygol y darlun a ganlyn:—*Os pery y Cyfundeb yn y De a'r Gogledd i wrthod codi capelau newyddion mewn ardaloedd lle y bydd anghen am danynt, a darparu ar gyfer lledaeniad yr iaith Saesoneg*, gall weled darlun yn awr yn Mynwy a Maesyfed o'r cyflwr truenus o eiddil y bydd ynddo trwy holl Gymru cyn pen canrif neu ddwy o amser. Dylai fod casgliad trwy danysgrifiadau yn cael ei wneyd i godi achosion Seisonig, *grant* o £100 yn cael ei gynnyg i bob lle, ar y teleran fod iddo yntau wneyd £200, a rhwystro i'r adeilad gostio mwy nag o £600 i £1000. Fel hyn gellid yn hawdd godi tri neu bedwar o achosion newyddion bob blwyddyn mewn manau y mae cynnydd cyflym ar y boblogaeth. Pa ddyben codi achosion wedi i gyfundebau eraill gymeryd llwyr feddiant o'r tir? Gwyn fyd na buasai ynom y ddegfed ran o awydd i godi achos y Gwaredwr ag sydd ynom i siarad yn y Cymdeithasfaoedd! Nid y rhai sydd yn siarad fwyaf am lwyddiant y Cyfundeb sydd bob amser ac yn ddïeithriad yn fwyaf egnïol i'w godi ar ei draed.

Da genym adael y ffeithiau galarus uchod, a syllu ar gynnydd Methodistiaeth yn y pymtheg mlynedd diweddaf. Er fod genym ystadegau yn ein meddiant o 1860 hyd 1881, nis gallwn gael ynddynt gyfrif o nifer y cyflawn aelodau neu y cymunwyr hyd 1866. Hyd y flwyddyn a enwyd yr oedd y golofn yn yr ystadegau cyffredinol yn cael ei llenwi gan nifer yr aelodau, sef cymunwyr, plant ac ymgeiswyr am aelodaeth. Felly annichonadwy yw gwneyd cymhariaeth deg rhwng cynnydd y Cyfundeb a chynnydd y boblogaeth ond o 1866 i 1881. Y gorchwyl cyntaf sydd genym i'w gyflawni yw dyfod o hyd i gynnydd neu leihâd y boblogaeth ymhob Sîr am y tymmor hwn. Er mwyn galluogi y darllenydd i farnu drosto ei hun fawredd yr ynfydrwydd o beidio cynnorthwyo y Siroedd i ba rai y mae poblogaeth Cymru yn ymdywallt yn genllif, ni a dynwn y llèn oddiar y ffeithiau canlynol:—

POBLOGAETH Y SIROEDD O 1801 I 1881.

| | 1801. | 1821. | 1841. | 1861. | 1881. |
|---|---|---|---|---|---|
| Morganwg.. | 70,900 | 102,100 | 171,200 | 317,700 | 511,700 |
| Mynwy..... | 45,600 | 75,800 | 134,400 | 174,600 | 210,400 |
| Caernarfon.. | 41,500 | 58,100 | 81,100 | 95,700 | 119,300 |
| Caerfyrddin. | 67,300 | 90,200 | 106,300 | 111,800 | 124,700 |
| Dinbych.... | 60,300 | 76,400 | 88,500 | 100,800 | 168,900 |
| Penfro .... | 56,300 | 73,800 | 68,000 | 96,300 | 91,800 |
| Fflint...... | 39,500 | 53,900 | 66,900 | 69,700 | 80,400 |
| Aberteifi.... | 43,000 | 57,800 | 68,800 | 72,200 | 70,200 |
| Trefaldwyn. | 48,200 | 60,200 | 69,600 | 66,900 | 65,800 |
| Brycheiniog | 32,300 | 43,800 | 55,600 | 61,600 | 57,700 |
| Meirionydd. | 29,500 | 34,400 | 39,300 | 39,000 | 54,800 |
| Môn....... | 33,800 | 45,100 | 50,900 | 54,600 | 51,000 |
| Maesyfed.... | 19,100 | 22,500 | 25,600 | 25,400 | 23,500 |

Gwelir fod poblogaeth Morganwg yn fwy o rhwng saith ac wyth gwaith na'r hyn ydoedd 80 mlynedd yn ol, ac eiddo Mynwy wedi llïosogi fel y mae yn awr bum' gwaith yn llïosocach nag ydoedd y pryd hwnw. Gwelir fod poblogaeth Sir Gaernarfon hefyd wedi cynnyddu cymaint fel y mae ynddi dri am bob un oedd ynddi ar ddechre y ganrif hon. Am y Siroedd eraill, nid oes dim un o honynt ond Fflint wedi dyblu ei phoblogaeth. Eglur yw fod yn rhaid i'r llifeiriant sydd yn rhedeg i mewn iddynt, fyned i droi olwynion cyfundebau eraill. Nid cymaint o golled i grefydd a fyddai hyny; ond beth os ä rhan o'r llifeiriant i ffurfio corsydd lleidiog esgeulusdra a Phaganiaeth? Y mae dyled y Siroedd hyn yn frawychus o fawr, sef eiddo Mynwy a Morganwg a Chaernarfon yn ymyl £160,000; ac nid yw y gweddill o'r Cyfundeb yn foddlawn i wneyd dim i'w cynnorthwyo i ddarparu addoldai ar gyfer y boblogaeth. Dylai fod pwyllgor o ddynion call, gofalus, a llygadog, yn gwylio am gyfleusderau i eangu terfynu yr enwad, a'r rhai hyn yn meddu ar gronfa o'r tu cefn iddynt, a chanddynt hawl i roddi un ran o dair neu un ran o bedair i bob ardal o'r swm a fyddo wedi ei addunedu a'i gasglu i law gan yr ardal ei hunan. Byddai sicrwydd am £100 ar y teleran eu bod hwy i gasglu £300 yn symbyliad i drigolion llawer man gwan i sefydlu achos yn eu plith. Gallai y fath bwyllgor farnu ymha ardaloedd y byddai y boblogaeth yn cynnyddu, a rhoddi cynnorthwy i'r lleoedd

mwyaf teilwng o hono; ac uwchlaw pob peth, gallent wrthod rhoddi dim oddieithr fod y capel yn rhoddi boddlonrwydd iddynt o ran ei faintioli, ei gynllun, a'i werth. Tra byddo eglwysi yn tynu i lawr gapeli o bymtheg i ddeg ar hugain oed, ac yn adeiladu rhai gwych, ardderchog, a chostus yn eu lle, pan y gallesid codi capel arall mewn rhan arall o'r ardal ar hanner neu un ran o dair o'r gost—tra byddo dynion yn rhuthro i ddyled ac yn mynu codi adeiladau addurniadol ymhell uwchlaw eu hamgylchiadau, ni cheir byth mo Siroedd eraill Cymru yn foddlawn i'w cynnorthwyo i dalu eu dyled. Ni fynai yr Americaniaid eu trethu heb gael eu cynnrychioli yn y Senedd; ac ni cheir mo'r Cyfundeb Methodistaidd i helpu Mynwy, Morganwg, ac Arfon heb bwyllgor i rwystro costau afreidiol a gwastraffus. Y mae llawer o ddynion haelionus yn barod i gynnorthwyo y gwan, y cynnil, a'r hael, ond nid i gyfranu eu harian i gefnogi uchelgais a gwastraff. Ond hyn sydd sicr, ei bod yn ddyledswydd ar y Siroedd amaethyddol i roddi cynnorthwy sylweddol i'r tair Sir hyn. Cofier fod ymhell dros hanner holl boblogaeth Cymru yn trigo ynddynt, sef 840,000 allan o 1,570,000 o bobl. Peidier a gwastraffu ychwaneg o amser y Cymdeithasfäoedd ar y mater heb ddwyn ymlaen gynllun rhesymol a fydd yn debyg o weithio.

Dengys y colofnau canlynol pa faint a fu cynnydd y Cyfundeb yn y pymtheng mlynedd, o 1866 i 1881.

| | Cynnydd y Boblogaeth. | Cynnydd y Cymunwyr |
|---|---|---|
| Morganwg | 154,266 | 7,130 |
| Mynwy | 27,000 | 1,433 |
| Caernarfon | 18,289 | 5,223 |
| Meirionydd | 12,000 | 2,468 |
| Caerfyrddin | 11,108 | 2,514 |
| Fflint | 7,348 | 1,388 |
| Dinbych | 5,991 | 1,662 |

Yn y Siroedd uchod oll y mae'r boblogaeth yn cynnyddu, a'r Cyfundeb, a dyweyd y lleiaf, yn tyfu yn gyfatebol; ond yn y Siroedd canlynol y mae'r boblogaeth yn lleihâu :—

| | Lleihâd y Boblogaeth. | Cynnydd y Cymunwyr. |
|---|---|---|
| Brycheiniog | 3,029 | |
| Maesyfed | 1,867 | |
| Brycheiniog a Maes. | 4,896 | 557 |
| Aberteifi | 2,617 | 159 |
| Penfro | 2,380 | 369 |
| Môn | 1,862 | 1,048 |
| Trefaldwyn | 1,473 | 1,473 |

Os nad all y darllenydd weled oddiwrth y ffeithiau hyn ymha Siroedd y mae y Cyfundeb yn dal ei dir oreu, ni a roddwn iddo elfeniad o'r rhai uchod fel y gallo ar un gipdrem ganfod pa gyfarfodydd Misol sydd yn ennill nerth gyflymaf ac ystyried eu hamgylchiadau. Ni a'u trefnwn yn ol eu teilyngdod, can belled ag y gellir barnu am dano oddiwrth ffeithiau ystadegol. Y cwestiwn y ceisiwn ei ateb yw hwn, Ymha Siroedd y mae'r cyflawn aelodau wedi llïosogi fwyaf, a chymeryd i ystyriaeth nerth Methodistiaeth ynddynt ar ddechre, a chynnydd y boblogaeth yn ystod, y pymtheng mlynedd diweddaf? Y drydedd golofn o'r tair sydd yn taflu goleuni ar y pwnc :

| | Cynnydd y Boblogaeth y cant. | Cynnydd y Cymunwyr y cant. | Y nifer o weithiau y mae cynnydd y Cymunwyr yn fwy na chynnydd y Boblogaeth. |
|---|---|---|---|
| Dinbych | 6 | 27 | 4½ |
| Caerfyrddin | 10 | 44 | 4⅖ |
| Mynwy | 15 | 57 | 3⅘ |
| Fflint | 10 | 26 | 2⅗ |
| Caernarfon | 18 | 33 | 1⅚ |
| Morganwg | 43 | 79 | 1 6/7 |
| Meirionydd | 28 | 27 | −1/28 |

Dyna y ffeithiau. Gadawer iddynt siarad drostynt eu hunain. Un peth sydd eglur, sef nad yw yr hen enwad yn colli tir yn yr un o Siroedd mwyaf poblog y Dywysogaeth. Y mae Meirionydd fel cwpan yn llawn dwfr, ac ar ei goreu yn rhwystro iddo ddianc dros yr ymylon. Y mae'r safon mor uchel—Methodistiaeth yn meddiannu hanner y boblogaeth—a ninnau yn mesur wrth y llathen hon, a dyna'r rheswm paham y mae ar waelod y rhestr. Y mae'n Methodisteiddio mwy na hanner y dyfodiaid sydd yn ymsefydlu ynddi.

SIROEDD A'U TRIGOLION YN LLEIHAU.

| | Lleihad y Boblogaeth y cant. | Cynnydd y Cymunwyr y cant. | Cynnydd y Cymunwyr uwchlaw cynnydd y boblogaeth. |
|---|---|---|---|
| Brycheiniog a Maesyfed | 5½ | 27 | 32½ |
| Trefaldwyn | 2 | 21½ | 23½ |
| Penfro | 2½ | 14⅔ | 17⅙ |
| Môn | 3½ | 12 | 15½ |
| Aberteifi | 3½ | 1⅛ | 4⅝ |

Wrth gymeryd ein hysgrifell yn ein llaw, yr oeddym, fel Balaam, ar fedr melldithio; ond wrth edrych ar y ffeithiau uchod, fe'n llenwir gan ysbryd diolch i'r Arglwydd am

ei ddaioni. Y maent yn dangos yn eglur, yn 1af, Nad yw yr Hen Gyfundeb yn colli tir yn yr un Sir yn Nghymru; yn 2il, Fod y cymunwyr yn cynnyddu yn gyflymach na'r boblogaeth yn yr holl Siroedd, gydag un eithriad; yn 3ydd, Mai yr hyn sydd wedi bod yn achos o fwy na hanner ei ddinystr yn Mynwy, Maesyfed, a Phenfro, yw arafwch, ystyfnigrwydd, a rhagfarn. Clywsom am naturiaethwr yn rhoddi tafell o wydr mewn cafn mawr o ddwfr, a phenhwyad gwancus yn rhuthro yn ei herbyn ddegau o weithiau wrth geisio llyncu pysgodyn arall; ond o'r diwedd dysgodd wers, ac nid ymgurodd mwyach yn erbyn y gwydr. Ac onid yw eiddilwch y Cyfundeb yn Maesyfed, Penfro, a Mynwy yn ddigon o rybudd i'r genedlaeth hon o Fethodistiaid i fod yn effro i godi addoldai cysurus (nid rhai ardderchog a chostus) ymhob ardal lle byddo rhagolygon sicr am gynnydd yn y boblogaeth, ac yn enwedig i sefydlu eglwysi Seisonig. Ac, yn 4ydd, Gwelir oddiwrth y ffigyrau uchod mai y Cyfarfodydd Misol mwyaf digynnydd yn y Cyfundeb yw Maesyfed, Aberteifi, Penfro, a Mynwy; ond mesurer hwy wrth y safon priodol, ac nid ydynt yn syrthio cymaint yn fyr i Siroedd eraill. Yn ddiddadl, golwg dlawd, wywedig, a dilewyrch sydd ar rai eglwysi yn Sir Faesyfed, fel pe baent ar fin trancedigaeth.

Wrth dynu at ddiwedd ein sylwadau, nis gallwn beidio diolch i'r Arglwydd, a chymeryd cysur, yn ngwyneb y ffaith anwadadwy fod proffeswyr crefydd yn ein mysg wedi *cynnyddu ddwywaith yn gyflymach na'r boblogaeth* yn y pymtheg mlynedd diweddaf. Yn y cyfnod hwn cynnyddodd poblogaeth holl Gymru (gan gynnwys Mynwy) o 1,347,952 i 1,570,000, yr hyn sydd yn gyfartal â 17 y cant, neu heb Mynwy, o 1,164,457 i 1,359,895, neu 16¾ y cant. Ond er mor fawr yw yr ychwanegiad hwn, y mae yr hen Gyfundeb wedi llamu ymlaen yn llawer cyflymach. Rhif y cymunwyr yn 1866 oedd 90,286, ond erbyn 1881 yr oeddynt yn 119,335. Nid 16¾ neu 17 y cant ydyw hyn, ond 32⅓ y cant. Ychwanegwyd dros 1200 at eglwysi un Sir er pan gymerwyd y cyfrifon uchod, fel, pan ddaw yr ystadegau i law cyn diwedd y mis nesaf, bydd golwg fwy calonogol ar yr achos nag erioed. Y mae'r ffeithiau hyn ynddynt eu hunain yn ddigon i wrthbrofi haeriadau disail gelynion symudiadau y Cyfundeb. Dyma y clogwyni cedyrn yn erbyn pa rai y mae ymosodiadau disylwedd yn ymguro ac yn myned yn ddrylliau. I'r Genadaeth Gartrefol, Trysorfa yr Achosion Seisonig, a Bugeiliaeth Eglwysig, ac yn enwedig i'r Ysgol Sabbothol, y mae'r wedd lwyddiannus hon sydd ar yr achos, dan fendith yr Arglwydd, i'w briodoli. Hyd yn hyn nid yw Methodistiaeth yn arddangos dim arwyddion henaint ac adfeiliad, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. "Dy ddillad ni heneiddiodd am danat, a'th droed ni chwyddodd y deugain mlynedd hyn. Cydnebydd dithau yn dy galon fod yr Arglwydd dy Dduw yn dy ddysgu di, fel y dysg gŵr ei fab ei hun." Pan hysbysodd swyddog milwrol Napoleon mewn brwydr fod magnelau y gelyn yn tywallt cawodydd o fwledi fel cenllysg ar ei filwyr—nas gallent sefyll dan y fath dân, ac y gofynasant pa beth oedd i'w wneyd, "*Forward, Forward!*" meddai y Cadfridog. Felly y dywedwn ninnau, yn ngwyneb ymosodiadau ar gynlluniau y Cyfundeb, Na chymerer sylw o honynt, ond ymwthied y fyddin ymlaen, gan gredu y bydd i Arglwydd Dduw y lluoedd goroni eu hymdrechion â llwyddiant mawr.

---

## GRAS DAN Y GYFFELYBIAETH O HALEN.

*Gan y Parch.* OWEN JONES, *Llandudno.*

(*Parhâd o tu dal.* 169.)

II. Y mae ein testun yn rhoddi ar ddeall i ni Y MAWR BERYGL O FODDLONI AR ENW O GREFYDD HEB FOD YN FEDDIANNOL AR EGWYDDOR GYWIR: "Os bydd yr halen yn ddihallt, a pha beth yr helltir ef?" Y mae Doddridge yn aralleirio y rhan hon o'n testun fel hyn: Os byddwch chwi yn llygredig, y rhai a ddylech fod yn offerynau gwellâd ac adferiad rhai eraill, pa beth a all eich adferu chwi eich hunain? neu, Pa beth a all adferu y rhai na cha fy efengyl ddylanwad arnynt?

1. Y mae y perygl o hyn yn fawr gyda golwg ar eraill. Nid oes neb yn gymaint o felldith i'r byd â chrefyddwr diegwyddor; ac y mae y diafol yn deall hyny yn dda, am ba achos ei darlunir ef yn dywedyd, "Mi a fyddaf yn ysbryd celwyddog yn ngenau ei brophwydi ef." Y mae un prophwyd celwyddog yn werth ugain o gablwyr cyhoeddus gan Satan i fyned â'i achos ymlaen. Proffeswyr crefydd heb egwyddor grefyddol ganddynt sydd wedi dwyn mwyaf o warth ar grefydd o bawb, ac wedi bod yn fwyaf o felldith i'w cyddynion. Pa sawl tad a mam yn proffesu perthynas â Mab Duw, yn ymwneyd llawer â chrefydd yn y cyhoedd, ac yn cynnal cymeriad crefyddol lled uchel yn marn eu cymydogion, o ddiffyg halltrwydd duwioldeb yn eu teuluoedd, a fuont yn achlysur i addfedu meddyliau eu plant i dderbyn

egwyddorion gwaethaf anffyddiaeth yn rhwydd? Pwy a ddichon ddywedyd pa sawl cloff a droëwyd o'r ffordd gan grefyddwyr heb wneuthur llwybrau uniawn i'w traed? Ambell greadur â'i galon yn gwaedu dan argyhoeddiadau wedi rhyw bregeth effro, fe allai, yn cydgerdded adref â rhyw gymydog o grefyddwr, gan ddysgwyl cael rhyw lesâd i'w enaid yn ei gyfeillach; ond yn lle hyny, o ddiffyg bod geiriau y crefyddwr yn rasol, wedi eu tymheru â halen, y mae ei friwiau yn cael eu cau ar lygredigaeth, a'i galon yn cael ei chaledu yn erbyn argyhoeddiadau y gwirionedd. Fel hyn y mae geudeb mewn crefyddwyr yn dylanwadu yn niweidiol ar y byd.

2. Y mae y perygl o hyn yn fawr gyda golwg arnom ni ein hunain. Y mae siomedigaeth mewn crefydd y fwyaf alaethus o bob siomedigaeth, canys siomedigaeth mewn peth sydd fawr ei bwys ydyw, ïe, siomedigaeth â'i chanlyniadau o dragywyddol barhâd. Mae y crefyddwr gau, fel yr un cywir, yn adeiladu tŷ iddo ei hun, i'w gysgodi yn ystormydd prydnawn einioes a nos angeu; ond erbyn i'r ddryghin ddechre curo ar ei dŷ, gwelir nas medd sylfaen dda; a phan reitiaf iddo wrtho y mae yn cwympo, a'r gri am dano ydyw, "Ei gwymp a fu fawr!" Gall y morwynion ffôl fod gyda'r rhai call hyd y waedd hanner nos, heb fod neb yn ammeu nas meddent olew yn eu llestri fel y lleill; ond och druain! mor ofnadwy a fydd eu cyflwr hwy pan ddelo y waedd!—eu lampau yn diffoddi, hwythau yn ymwylltio, a'r drws wedi ei gau rhyngddynt â gwynfyd am byth! Dichon llawer un fod wedi dyfod i fewn i'r eglwys weledig ymysg gwahoddedigion y Brenin; ond, heb wisg priodas, fe fydd Duw ei hunan yn ei godi allan, ac yn ei orchymyn yn rhwym i'r tywyllwch eithaf, lle na bydd ond trueni tragywyddol yn teyrnasu! Och! gynifer o drueiniaid a aethant i wyneb angeu yn ngafael gau hyder, yn gwenieithio iddynt eu hunain eu bod yn meddu crefydd; ond erbyn i'r Gŵr ei hun ddyfod i'w profi, dihallt oeddynt—enw o halen oedd arnynt, heb ei sylwedd ynddynt! "Nid adnabûm chwi erioed" a fydd tystiolaeth y Barnwr; "ewch oddiwrthyf, rai melldigedig!" a fydd ei ddedfryd arnynt. Y mae crefyddwr gau yn fwy anobeithiol ei gyflwr na neb o'r bron. Efe, y dyn sydd yn ymwaeyd â phob moddion crefyddol o'r bron, yn dra diargyhoedd ei fuchedd, a chyson ei ymarferiadau crefyddol, eto, heb fod ei galon yn uniawn ger bron Duw, fel bedd wedi ei wyngalchu oddiallan, ond oddifewn yn llawn o lygredigaeth, O y mae y cyfryw yn dra anobeithiol! "Os bydd yr halen yn ddihallt, â pha beth yr helltir ef?"

Cyn gadael y rhan yma o'r testun, ni fyddai yn anfuddiol i ni ymofyn am rai arwyddion wrth y rhai y gallo pob un ei holi ei hun, a dyfod i benderfyniad lled gywir am ei gyflwr. Ac O bydded i ni wneyd cyfiawnder â'n heneidiau ein hunain tra yn edrych yn y drych hwn.

1. Y mae pob un sydd yn meddu crefydd gywir yn dra eiddigus ar ei ysbryd ei hun rhag ei fod yn meithrin unrhyw lygredd, neu yn coledd unrhyw eilun. Gall y rhagrithwr fod yn lled wyliadwrus ar ei fuchedd allanol, ac y mae ganddo amcan i'w gyrhaedd drwy hyny, sef, ei weled a'i ganmawl gan ddynion; ond lle y mae yr halen yma yn y dyn, y mae yn puro y galon; ac y mae ei berchen yn wyliadwrus yn benaf am gadw hono yn dra diesgeulus, gan mai o'r ffynnonell yma y mae ffrydiau y fuchedd yn tarddu. Fe all fod llawer iawn o debygolrwydd mewn ymarferiad cyhoeddus â phethau crefydd rhwng y rhagrithiwr â'r cristion cywir; eto, y mae gwahaniaeth gwirioneddol rhyngddynt; y naill yn gweithredu dan ddylanwad rhyw withddrychau allanol iddo ei hunan, a'r llall yn cael ei ysgogi yn ei holl ymarferiadau crefyddol gan rym egwyddor dufewnol—anian dduwiol yn yr enaid, ysbryd uniawn o'i fewn.

2. Lle y mae crefydd gywir, y mae ei pherchen yn casâu pob anwiredd er ei fwyn ei hun. Gall fod y rhagrithiwr yn casâu anwiredd mewn eraill, eto yn byw yn yr un pechod ei hunan; felly, gall y naill ddyn balch ffieiddio balchder mewn eraill, fel y dywedir fod Diogenes garpiog yn mathru dillad gwychion Plato, gan ddywedyd, "Yr ydwyf yn ffieiddio balchder Plato;" i'r hyn yr atebai y llall, "Ti a sethri ar fy malchder i; ond gwnei hyny â balchder sydd fwy." Y mae y cyfryw un yn edliw y brycheuyn sydd yn llygad ei frawd, ond heb ystyried y trawst sydd yn ei lygad ei hun. Gall fod y rhagrithiwr yn casâu pechod yn ei ganlyniadau, ond nid yn ei natur ei hun. Yn wyneb y demtasiwn y mae yn barod i ddywedyd, "Myfi a'th gofleidiwn, O bechod hoff, oni bae ofn y canlyniadau;—pe y gellid dy ysgaru di oddiwrth dy gosb, nid allai dim fy ysgaru oddiwrthyt." Ond y mae pob cristion cywir yn casâu pechod am mai pechod ydyw; y mae gwrthdarawiad greddfol ymhob dyn duwiol i bob pechod; ac iaith ei galon yn wyneb y demtasiwn ydyw, "Pa fodd y gwnaf y mawrddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw?"

3. Lle y mae crefydd gywir, y mae yno alar dwys a gwirioneddol am bechod, a thrallod o'i herwydd. Gall y rhagrithiwr fod mewn peth trallod o herwydd rhyw bechodau gwarthus a gyffröant y gydwybod naturiol i ruo, ond nid o herwydd

y pechodau tufewnol dirgelaidd a halogant yr enaid. Felly y dywedai Judas, "Pechais, gan fradychu gwaed gwirion," ond heb yngan un gair am yr ariangarwch ffiaidd oedd wrth wraidd y weithred ysgeler hono. Ond lle y mae enaid yn meddu halen gras ynddo ei hun, y mae efe yn drallodus o herwydd y camwri a wneir â Duw trwy bechod, fel y dywedai y mab afradlawn, "Pechais yn erbyn y nef, ac o'th flaen dithau." Pryfyn gwael y llwch wedi codi yn erbyn gorsedd y Brenin anfeidrol a thragywyddol! Y mae yn drallodus o herwydd cuddiad wyneb ei Dad nefol, yr hyn a dynodd arno ei hunan drwy bechod; a'i weddi ydyw, "Na fwrw fi ymaith oddi ger dy fron, ac na chymer dy Ysbryd sanctaidd oddiwrthyf." Fe allai nad yw pobl yr Arglwydd yn cwyno cymaint wrth ddynion o herwydd y trallodau hyn ag o herwydd rhyw drallodau eraill; ond rhyw archoll yn rhedeg liw nos ydyw; rhwng yr enaid â Duw y mae'r gŵyn yn cael ei thywallt yn benaf.

4. Y mae yr enaid grasol yn gwrthwynebu pechod. Y mae gwrthdarawiad naturiol rhwng y cristion cywir â phob pechod. "Mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr Ysbryd, a'r Ysbryd yn erbyn y cnawd; a'r ddau hyn a wrthwynebant eu gilydd;" felly y mae rhyfel gwastadol rhwng y credadyn a'i bechod; ac nid oes derfyn i fod arno hyd oni therfyno yr einioes, ac yna caiff y cristion cywir ddywedyd, "Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa." Y mae yr ymdrech yn erbyn pechod yn yr enaid grasol yn sicr o fod yn effeithiol o'r diwedd: "Ein hen ddyn ni a groeshoeliwyd gydag ef, er mwyn dirymu corff pechod." Y mae pechod mewn ambell gredadyn yn cael ei roddi i farwolaeth yn araf iawn, ond yn eithaf sicr; "canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynddo ewyllysio a gweithredu;" ac mor wir a'n bod yn ymladd y frwydr yn ei enw a'i allu ef, efe a wthia y gelyn o'n blaen; ac a ddywed, "Gorchfyga ef." Duw sydd yn rhoddi i ni y fuddugoliaeth.

5. Y mae yr enaid grasol yn ei holl ymarferiadau crefyddol yn ymestyn at fwynhâd ysbrydol o Dduw, a chynnydd tebygolrwydd iddo mewn sancteiddrwydd. Y mae amserau pan y mae Duw yn dyfod yn agos iawn i'w bobl yn ei ordinhadau, gan lanw eu heneidiau â thangnefedd, ac â llawenydd annhraethol; rhyw flaenbrawf o'r wledd a fwynheir yn berffaith yn y nefoedd yn unig.

III. Y peth olaf yn y testun sydd yn galw am sylw genym, ydyw, CYNGHOR GWERTHFAWR YR ARGLWYDD IESU I'W HOLL DDYSGYBLION: "Bid genych halen ynoch eich hunain, a byddwch heddychlawn â'ch gilydd." Hyny yw, mynwch yr elfen geidwadol a phuredigol yma ynoch eich hunain, ac amlygwch hyny trwy ysbryd tangnefeddus ac hunanymwadol: neu, mewn geiriau eraill, Mynwch grefydd o'r iawn ryw, ac ymdrechwch dan bob amgylchiad i ymddwyn fel y gweddai i rai cysegredig i wasanaeth yr Arglwydd.

Cyn terfynu, crybwyllaf rai ystyriaethau cymhelliadol i ni i ymofyn am grefydd dda yn ddioed.

1. Nid oes dim a weinydda y fath hyfrydwch i ddyn wrth fyw ag ydyw crefydd o'r iawn ryw. Pa faint bynag o hyfrydwch a all ieuenctyd ei gael mewn mwyniannau cnawdol, pleserau pechadurus, hyfrydwch a dry yn ofid chwerw yn y diwedd ydyw. Gwenwyn marwol yw pleserau pechadurus:—"Yn y diwedd efe a frath fel y sarph, ac a biga fel neidr." "Gwna yn llawen, ŵr ieuanc, yn nyddiau dy ieuenctyd,—a rhodia yn ffordd dy galon, ac yn ngolwg dy lygaid; ond gwybydd y geilw Duw di i farn am hyn oll." Pa faint bynag o hyfrydwch a gâ y naill mewn ystorio eu meddyliau â gwybodaeth o'r celfyddydau têg, ac eraill mewn llenwi eu coffrau âg aur ac arian, nid ydyw yr holl bleserau a fwynheir yn y pethau a welir ond pleserau breuddwyd; ac erbyn y dihunir un yn nhymhestloedd bro marwolaeth, diflana y cwbl fel niwl disylwedd; gan hyny yn briodol y dywedir, "Penaf peth yw doethineb;" am hyny, "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef." Da y gellir dywedyd yn ngeiriau y bardd Cymreig,—

"Mae mwy o bleser yn ei waith,
Na dim a fedd y ddaear faith."

Edrychwch ar gredadyn yn y bwthyn distadl, yn dlawd a dinôd, fe ddichon; a chymherwch ei brofiad ef â'r eiddo yr uchaf ei floddest o blant y ddaear, yn nghanol llawnder, rhwysg, a moethau; ac yna, wedi rhoddi barn bwyllog a diragfarn ar gyflwr y ddau, oni raid i chwi benderfynu fod crefydd yn fforddio i'w pherchenog y can' cymaint yn y byd hwn, heb sôn am yr etifeddiaeth anllygredig a diddiflanedig yn y byd a ddaw? Gwelwn y gŵr duwiol yn ei fwthyn distadl; ar ei fwrdd nid oes nemawr o seigiau breision, fe ddichon; ac fe allai nad yw ei wisg mor raenus, na'i wely mor esmwyth a thrwsiadus, ei ystafelloedd mor ëang ac addurnedig, na'i feusydd mor llydain a chynnyrchiol, a'r eiddo ei gymydog; ond y mae ganddo yr hyn sydd yn annhraethol fwy gwerthfawr, sef, "heddwch tuag at Dduw, trwy ein Harglwydd Iesu Grist," fel *title deed* o'r etifeddiaeth sydd yn nghadw iddo yn y nefoedd. Darluniad llawer gwell o'r ddau gymeriad yma a wnaed gan Grist ei hunan,

yn nammeg y gŵr goludog a Lazarus; y naill yn angeu yn dianc o'i afiechyd a'i dlodi i fynwes Abraham, a'r llall o'i rwysg a'i foethau yn disgyn i'w boeni yn uffern.

2. Gwnewch frys yn ddiymaros i ymofyn am wir grefydd, rhag y bydd i chwi drwy oedi ychydig yn hwy golli y cyfleusdra i gael iachawdwriaeth am byth. Yn awr ydyw ein dydd gras, yr amser cymeradwy i gael ein cymmodi â Duw, ac i sicrhâu y meddiant o fendithion ysbrydol i'r enaid; ac, os cysgu a segura a wnawn ni ar adeg cynauaf, ni fydd ond tlodi a newyn i'n rhan yn y gauaf tragywyddol sydd yn aros; ac felly y darlunir llawer o wlad efengyl yn gwaeo yn nystryw, gan ddywedyd, "Darfu yr hâf, y cynauaf a aeth heibio, ac nid ydym ni gadwedig." Mor fynych ein cymhellir i hyn gan Grist ei hunan: "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef." "Cyttuna â'th wrthwynebwr ar frys, tra fyddech ar y ffordd gydag ef, rhag un amser i'th wrthwynebwr dy roddi di yn llaw y barnwr, ac i'r barnwr dy roddi at y swyddog, a'th daflu yn ngharchar. Yn wir meddaf i ti, Ni ddeui di allan oddiyno hyd oni thalech y ffyrling eithaf." Fe'n cymhellir i fod "fel gweision effro yn dysgwyl eu harglwydd, pa bryd y dychwel o'r neithior," fel yr agorir iddo ar ba wyliadwriaeth bynag y delo:—i ofalu am olew gras yn llestr y galon gyda lamp y broffes, fel pan ddelo y waedd hanner nos y caffom fyned i mewn gyda'r Priodfab.

## Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

### Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD VI.

*Abel Hughes.*

GELLID meddwl fod pawb ag sydd wedi talu ychydig o sylw i ddynion a'u harferion wedi sylwi, ymhlith eraill, ar y tri dosbarth canlynol. Dyna un dosbarth: y rhai a fuont unwaith ymron yn gwbl dan lywodraeth y diafol a'u nwydau llygredig eu hunain, ond trwy ryw ffawd dda a ddaethant dan ddylanwad Dwyfol yr efengyl—a gawsant drugaredd—"yr hen bethau a aethant heibio, ac wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Mae eu tymherau wedi cael eu darostwng, eu calon wedi ei chyfnewid, a'u holl fuchedd, os nad ydyw eu profiad, fel pe byddai yn dywedyd yn feunyddiol am yr un drwg, "Nid oes iddo ef ddim ynof fi." Y fath brydferthwch nefol sydd yn nodweddu y dosbarth hwn o fy nghyd-ddynion! Dyna y dosbarth arall: y rhai hyny nad oes ammheuaeth fod a fyno crefydd rywbeth â'u calonau, ac fod a fyno hwythau rywbeth â chrefydd, ond fod arwyddion amlwg fod a fyno yr hen feistr hefyd rywbeth â hwynt. Ar achlysuron neillduol daw yr ewin fforchog i'r golwg. Ymddengys fel pe byddai nefoedd ac uffern yn eu hawlio. Ac eto wrth wrando arnynt yn gweddïo, ac yn dyweyd eu profiad, yr ydys fel y *jury*, wrth brofi dyn am ei fywyd, yn barod iawn i roddi iddynt *the benefit of the doubt*. Y peth pwysig iddynt hwy a minnau i'w gofio ydyw, na fydd yr un *doubt* am ein cymeriad y dydd mawr a ddaw. A dyna y trydydd dosbarth: y rhai hyny nad oes a fynont â chrefydd broffesedig mewn unrhyw wedd, ac eto yn arddangos yn eu buchedd lawer o'i rhinweddau. Maent yn onest, diddichell, difalais, a chymwynasgar, yn garedig wrth ddyn ac anifail, ac yn hawddach ganddynt wneyd cam â hwy eu hunain nag â neb arall. Fel rheol nid yw y dosbarth hwn yn nodedig o ddeallgar, ac ymddangosant fel yn edrych ar bobpeth drwy eu calonau. Mae eu diniweidrwydd fel *remnant* o'r defnydd y gwnaed ein rhieni cyntaf o hono. Fel y dywedwyd, nid ydynt yn grefyddol yn ystyr dduwinyddol y gair, ac eto y mae llawer o'r hyn a ystyrir fel ei ffrwythau hi yn tyfu arnynt. Nid ydynt wedi clwyfo eu cydwybod gyda gweithredoedd anfad, nac wedi darllen na meddwl digon i greu anesmwythdra ac ammheuon, ac felly y maent yn lled hapus. I mi y mae rhyw brydferthwch mawr yn perthyn i'r dosbarth hwn o bobl; ac ar adegau bum yn cenfigenu wrth eu sefyllfa.

I'r dosbarth olaf y perthynai Thomas a Barbara Bartley; a dichon mai eu caredigrwydd hwy at fy mam a minnau, pan oeddym mewn profedigaeth, a barodd i mi mewn amser dilynol edrych ar rai cyffelyb iddynt gyda gradd o ddyddordeb ac edmygedd. Pan oeddym yn yr helbul teuluaidd, yr hwn yr wyf eisoes wedi ei ddesgrifio, mae yn gof genyf fy mod yn synu yn fawr at glauarineb swyddogion yr eglwys yr oedd fy mam yn aelod nid anenwog o honi, o'i gyferbynu â charedigrwydd a chydymdeimlad parod Thomas a Barbara Bartley. Ac nid allwn beidio mynegu hyny i fy mam. Ond ni fynai hi i mi goleddu syniad isel am y blaenoriaid; ac yn unol â'i harddull cyffredin o siarad, ebe hi,—

"Mae hyny yn y drefn, fy machgen. Mae rhyw achos yn peri fod y brodyr dipyn yn ddiarth hefo ni. Hwyrach fod

y Llywodraethwr yn cadw y gwin goreu hyd y diwedd. Os ydan ni yn wrthddrychau teilwng o ymgeledd, fe ofala Pen yr eglwys am danom yn ei amser da ei hun."

Ni fu raid i mi aros yn hir heb weled fod fy mam yn lled agos i'w lle; oblegid yn gynnar dranoeth ymwelwyd â ni gan yr hen flaenor hybarch, Abel Hughes. Yr wyf wedi cael achlysur mwy nag unwaith yn yr hanes hwn i sôn am dano ef. Pe ei fywgraffiad ef a fuaswn yn ysgrifenu, ac nid yr eiddof fy hun, buasai genyf lawer o bethau dyddorol i'w hadrodd am dano. Yr wyf yn gwenieithio i mi fy hun fy mod wedi dilyn yr oes yn weddol, ag ystyried fy anfanteision. Ond rywfodd, y mae hen syniadau a ffurfiais pan oeddwn fachgen yn glynu ynof er fy ngwaethaf. Byddai cywilydd arnaf eu harddel, ond yn fy myw nis gallaf eu dilëu o fy meddwl. Pe gofynid i mi gan ŵr ieuanc o dref Seisonig am fy ngolygiadau ar y peth yma a'r peth arall, dywedwn hwynt yn rhwydd ac yn onest; ond o dan y rhai hyny gwyddwn y byddai yn codi ynof syniadau tra gwahanol, y rhai a ffurfiwyd ymhell yn ol, ac nas gallaf mewn modd yn y byd gael gwared o honynt. Un o'r rhai hyny ydyw fy syniad am flaenor. Onid ydyw Theophilus Watcyn, Ysw., o'r Plas uchaf, y gŵr o herwydd ei fedrusrwydd digyffelyb i drin y byd a wnaeth ei ffortun mewn byr amser, ac sydd yn byw ac yn gwisgo yn weddus i'w sefyllfa anrhydeddus, ac yn cadw ei was lifrai—yn cymeryd ei wraig a'i ferched *in full dress* i'r prif gyngherddau—onid ydyw efe yn addurn i sêt fawr capel y Methodistiaid yn *Highways?* Onid ydyw efe yn haelionus at yr achos, yn garedig at dlodion yr eglwys, yn lletygar ac yn parchu gweinidogion y gair? Mae yn wir nad ydyw efe byth yn myned i'r Cyfarfod Misol, a'i fod yn absennol gryn lawer o'r Ysgol Sul; ond rhaid i ni gofio ei sefyllfa, a'r gymdeithas y mae efe yn troi ynddi. Mae yn zelog dros y fugeiliaeth, ac yn y cyfarfod eglwysig yn hollol wylaidd a hunanymwadol, ac yn gadael i'r gweinidog siarad y cyfan. Ond onid ydyw efe yn flaenor teilwng, ac yn gaffaeliad gwerthfawr i'r achos? Ydyw yn bendifaddeu, ac yr wyf yn teimlo yn falch o hono. Dyna Alexander Phillips *(Eos Prydain)*, y gŵr ieuanc llafurus gyda'r canu, medrus yn y gwaith o edrych ar ol llyfrau yr eglwys, parod i drefnu a chodi cyngherdd, trwsiadus ei ymddangosiad,—onid ydyw efe yn ŵr rhagorol? Tipyn yn dawedog ydyw yntau yn y seiat; ond byddai yn anmhosibl ymron i'r brodyr gynnal *tea party*, neu godi cyfarfod cystadleuol, heb ei wasanaeth gwerthfawr ef. Mae yn ŵr hywaeth a llawen, ac yn hoff o *joke;* ond nid yw ei ymddygiad un amser yn anweddaidd. Wrth ei gymeryd drwodd a thro, mae yn ŵr defnyddiol dros ben gyda'r achos; ac ystyrir ef gan y lliaws, a chenyf finnau, yn flaenor da. Ac eto y mae y syniad hen ffasiwn yn mynu sibrwd wrthyf nad dynion fel y rhai a enwais sydd yn dyfod i fyny â'r enw blaenor. Y cynllun y mae yr hen syniad yn ei ddal o flaen fy meddwl i ydyw Abel Hughes.

Ac un fel hyn oedd efe: gŵr mewn tipyn o oedran, tàl, teneu, yn gwisgo clos pen glîn, cob a gwasgod o liw tywyll, cadach du wedi ei droi amryw weithiau o gylch y gwddf, het *beaver* cantel llydan, coryn isel, y farf wedi ei heillio yn fanwl, oddieithr rhyw hanner modfedd o locsen wrth fôn y glust, a'r gwallt wedi ei dori yn *parallel* gyda'r aeliau trymion y rhai a edrychent i lawr ar wyneb difrifol. Dyna un ochr o'r cynllun. Mae iddo ochr arall: gŵr cadarn yn yr Ysgrythyrau, hyddysg yn a zelog dros yr athrawiaethau efengylaidd, ffyddlawn i'r Cyfarfod Misol a'r Sasiwn, difwlch yn moddion gras, parod a gwreiddiol ei sylwadau, hwyliog a gwlithog ar ei liniau, pa un bynag ai yn y cyfarfod gweddi ai yn dechreu yr odfa i bregethwr; manwl gyda dysgyblaeth eglwys'g, ac yn tueddu braidd at fod yn grabed, ond yn meddu calon dyner a duwiolfrydig; ei fuchedd yn ddiargyhoedd, ac yn erbyn pob math o wagedd ac ysgafnder, ac yn dysgwyl i bawb fyddent yn perthyn i'r eglwys, ie, hyd yn nôd y plant, fod yn ddifrifol. Dyn fel hyn oedd Abel Hughes; ac efe a ffurfiodd ynof y syniad cyntaf am flaenor, yr hwn sydd yn aros yn ngwaelodion fy ymwybyddiaeth, gan nad pa mor gyfeiliornus ydyw. Mae fy synwyr yn fy nhueddu i gredu fod y cynllun-flaenor i'w gael rhwng Abel Hughes ac ambell un a elwir yn flaenor yn ein dyddiau ni, yr hwn olaf nad yw amgen na *lodging house keeper* i'r pregethwr, ac un yn actio fel *clerk* i'r eglwys. Golygid Abel gan fy mam fel gŵr difai ymron, a hyny o herwydd, mae yn debygol, fod eu golygiadau am y byd a'i arferion, am grefydd a'i hathrawiaethau, yn cydredeg ac yn cyttuno. Yr oeddynt ill dau yn bwyta yr un bwyd ysbrydol ac yn yfed yr un ddiod ysbrydol, ac wedi ymgomio llawer am grefydd brofiadol. Yn y capel fel yn y tŷ yr oeddynt yn ddirodres a chartrefol iawn; ac yn ol arfer yr hen bobl ni byddent yn arfer teitlau meistar a meistres.

Gwn yn dda nad oedd neb y dymunasai fy mam yn fwy ei weled yn ei helynt nag Abel Hughes; ac ni fuasai dim yn well genyf finnau na gallu croniclo yn fanwl yr ymgom a gymerodd le rhwng y ddau ar ei ymweliad, ond nis gallaf. Er fod genyf gôf rhagorol, a fy mod yn dipyn

o hen ben y pryd hwnw, yr oeddwn yn gorfod teimlo fod yr ymgom yn un pur wahanol i'r un gyda Thomas Bartley, ac fod llawer o hono uwchlaw fy nirnadaeth. Ar yr un pryd, nid ydwyf yn foddlawn i fyned heibio heb geisio adgofio ychydig o'r ymddyddan; oblegid dywedodd fy mam rai pethau am werth crefydd bersonol a lynodd yn fy meddwl. Pan ddaeth Abel i mewn i'r tŷ, fel y byddai arferol, heb guro y drws, edrychodd fy mam arno braidd yn *independent;* ond canfyddwn fod lleithder yn ei llygaid, a dangosai y gweithiadau yn nghonglau ei safn a'i gwddf ei bod yn gorfod crynhoi ei holl nerth i beidio tori i wylo allan. Estynodd Abel ei law, ac ebe efe,—

"Wel, Mary, sut yr ydach chi?"

"Yr ydw i yn rhyfedd, Abel, a chonsidro," ebe fy mam. "Yr ydw i 'yn gystuddiol, ond nid mewn ing;' yr ydw i 'mewn cyfyng-gynghor, ond nid yn ddiobaith; yn cael fy mwrw i lawr, ond heb fy nyfetha.'"

"Mi wyddwn, Mary," ebe Abel, "y gwyddech chi i ble i droi am swcwr, pa helynt bynag a ddeuai i'ch cyfarfod, onidê mi faswn wedi dwad yma yn gynt, mae'n lled debyg."

"Wel," atebai fy mam, "yr ydw i yn gobeithio nad oes eisio llawer o nyrsio arna i. Dydw i ddim run fath â gwraig y *London House*, Abel, yn cadw o'r capel am wsnos am fod y blaenoriaid heb fod yn edrach am dani pan oedd tipyn o ddannodd arni. Na, yn yr oed yma, tybed nad ydw i wedi dysgu cerdded? Ond fase fo harm yn y byd, Abel, bydasech chi wedi dwad i edrach am dana i yn gynt, ar ol yr holl gwentans sy wedi bod rhyngon ni, er, cofiwch, bydasech chi heb ddwad yma am fis, faswn i yn meddwl dim llai o honoch chi. Ac yn wir, Abel, yr ydw i yn teimlo braidd yn ddiolchgar na ddaethoch chi ddim, achos bydasech chi wedi dwad, faswn i ddim wedi cael yr olwg a ges i ar yr

'— Un uwchlaw pawb eraill
Drwy'r greadigaeth faith i gyd
Sydd yn haeddu 'i alw 'n gyfaill,
Ac a bery yr un o hyd;
Brawd a anwyd i ni yw
Erbyn c'ledi o bob rhyw.'

Mi ddaru Joseph, mi wyddoch, Abel, fwrw pawb allan cyn amlygu ei hun i'w frodyr; ac yr ydw i yn lled obeithio nad ydi'r helynt yma ond y cwpan wedi ei rhoi yn ngenau fy sach er mwyn i mi gael fy nwyn i adnabod Llywodraethwr y wlad."

"Mae yn dda gen i i'ch cael chi yn y porfeydd gwelltog, Mary," ebe Abel.

"Lle roeddach chi yn dysgwyl 'y nghael i, Abel?" ebe fy mam; "nid ar y comin, 'does bosib. Ar ol yr holl grefydda yma, mi fase yn arw o beth fod heb yr un cysgod yn nydd y ddryghin. Os nad ydw i yn twyllo fy hun—a mi fydda yn ofni hyny yn amal—'does gen i, erbyn hyn, ddim gwerth sôn am dano ond y porfeydd. Fel y gwyddoch chi, Abel, yr ydw i yn ddiswcwr, yn waeth na gweddw; a fy machgen, oedd yn gefn ac yn gynnaliaeth i mi, wedi ei roi yn y *jail,*"—a chuddiodd fy mam ei hwyneb â'i ffedog, wedi ei gorchfygu yn hollol gan ei theimladau.

"Mae yn y gwirionedd eiriau fel hyn, Mary," ebe Abel, 'Mi a fum ieuanc ac yr ydwyf yn hen; eto ni welais y cyfiawn wedi ei adu, na'i had yn cardota bara. Yr Arglwydd a brawf y cyfiawn, eithr cas gan ei enaid ef y drygionus a'r hwn sydd hoff ganddo drawsder. Aml ddrygau a gaiff y cyfiawn, eithr yr Arglwydd a'i gwared oddiwrthynt oll. Hauwyd goleuni i'r cyfiawn, a llawenydd i'r rhai uniawn o galon.' Yr ydw i yn o siwr, Mary, fod goleuni wedi ei hau i chwithau, os ydi hi yn nos arnoch chi yrŵan, ac y cewch chi ei wel'd yn egino ac yn blaguro yn y byd hwn, os na chewch ei wel'd yn ei lawn dŵf. Byddwch gysurus, ac ymnerthwch yn yr Arglwydd. Efe a'ch gwared o'ch holl flinderau."

"Yr ydw i yn ceisio bod felly, Abel, gore galla' i," ebe fy mam. "Ond wrth eich clywed chi yn siarad, fedra i yn 'y myw beidio meddwl am eirie Tomos o'r Nant. 'Doedd Tomos, mi wn, ddim yn grefyddwr, ond fe ddeydodd lawer o bethe da; ac yr ydw i yn meddwl mai fo ddeydodd fel hyn:—

'Hawdd gan yr iach tra yn ddiddolur
Ddyweyd wrth y claf gymeryd cysur.'

Ac eto yr ydw i yn teimlo yn ddiolchgar iawn i chi am eich geirie cysurus; ac yr ydw i wedi bod yn synu ac yn synu na fasech chi wedi dwad yma yn gynt, Abel."

"Nid am nad oeddwn i yn meddwl llawer am danoch chi, Mary," ebe Abel, "Yr oedd yn chwith gen i i'ch colli o'r capel y Sabboth, er nad oeddwn yn dysgwyl eich gweled o dan yr amgylchiadau. 'Doedd Bob ddim yn aelod hefo ni, er ei fod o yn debycach i aelod na llawer o honom. 'Doedd gan neb ddim i'w ddyweyd yn erbyn ei fuchedd, ac yr oedd o yn cael ei gydnabod yn un o'r athrawon goreu yn yr Ysgol Sul. Ond y mae y *strikes* yma yn bethau rhyfedd iawn, Mary. Pethau ydyn nhw wedi dwad oddiwrth y Saeson; nid y ni piau nhw, a mae gen i ofn y gwna nhw lawer o ddrwg i'r wlad ac i grefydd. Yr oeddan ni fel brodyr yn ystyried fod eisio cymeryd pwyll. Yr oedd Bob yn un o'r arweinwyr, ac felly o anghenrheidrwydd, oblegid yr oedd o ran

ei ddeall a'i ddawn siarad tu hwnt iddynt oll; ac nid oes neb yn ammheu nad oedd ei amcanion yn berffaith onest. Yn wir yr oedd llawer o bobl gall yn cydymdeimlo â'r *colliers* yn eu gwaith yn ceisio am godiad yn eu cyflogau, ac yn eu hymdrech yn erbyn gorthrwm. Ond nid oedd neb â gronyn o synwyr yn ei ben, heb son am ras yn ei galon, yn gallu eu cyfiawnhâu am ymosod ar y steward, a'i ymlid o'r wlad. Yn ol yr hanes cyntaf yr oedd Bob yn un o'r rhai oedd yn euog o beth felly; a phe buasem yn rhedeg yma i gydymdeimlo â chwi, buasai rhywun yn ddigon parod i ddyweyd mai yr un pethe oeddan ninnau a'r terfysgwyr, a buasai yr achos mawr yn dyoddef, a'r Enw rhagorol sydd arnom yn cael ei gablu. Mae yn dda gen i ddyweyd wrthoch, Mary, nad oes neb erbyn hyn yn credu yn euogrwydd Bob, er ei fod yn awr yn dyoddef fel pe buasai yn euog. Mae dynion oeddynt yn llygaid-dystion o'r holl helynt, ac a fedrant ddyweyd y gwir cystal ag undyn, yn tystio yn bendant ei fod ef a John Powell wedi ymdrechu yn galed i attal yr ynfydrwydd. Mae gen i newydd da arall i'w adrodd i chwi. Mae y dynion wedi sefyll yn benderfynol i beidio gweithio o dan Mr. Strangle, ac y mae y meistriaid wedi ei dalu allan, ac wedi anfon am Abram yr hen steward; ac y mae yntau wedi ail ymgymeryd â'r swydd, a bydd y gwaith yn cychwyn yfory. Yr ydym fel cymydogaeth yn ddyledus am hyn i ymdrechion Mr. Walters y twrne, yr hwn a lwyddodd i gael y meistriaid a'r gweithwyr i wynebau eu gilydd, ac a actiodd fel cyfieithiwr a chyflafareddwr; ac yr wyf yn deall pe buasai hyn wedi ei wneyd yn y dechre y buasai yr holl helynt wedi ei arbed; oblegid y mae y meistriaid erbyn hyn yn gweled nad heb reswm yr oedd Bob a'i gymdeithion yn cwyno yn erbyn Strangle. Felly mi welwch, Mary, nad ydyw pethau mor ddrwg wedi'r cwbl."

"Wel does lûn," ebe fy mam, "na ollyngan nhw Bob o'r *jail* yrwan ar ol gweled fod o yn ddieuog, ac fod y pethe oedd o yn ddeyd yn iawn?"

"Na, mae gen i ofn, Mary, nad allwn ni ddim dysgwyl am hyny. Pan fydd ynadon wedi gwneyd camgymeriad, dydyn nhw byth yn ceisio cywiro'r camgymeriad. Mae nhw fel y dyn hwnw, ar ol dyweyd celwydd, yn meddwl mai'r peth gore fedre fo neyd oedd sticio at y celwydd."

"Wel does bosib," ebe fy mam, "fod Mr. Brown, y person, yn gallu myn'd i'r pulpud i bregethu, bydae o yn pregethu hefyd, am gyfiawnder a thrugaredd, ac yntau 'i hun wedi bod ar y fainc yn cyttuno â Gŵr y Plas i weinyddu anghyfiawnder?"

"Mi bregethiff—bydae o yn pregethu hefyd—chwedl chithe, yr un fath yn union, ac hwyrach yn well, Mary," ebe Abel.

"Mi dyffeia fo bregethu'n salach, os da y clywes i o, Abel," ebe fy mam. "Ond yn lle mae cydwybod pobol, wn i ddim. Mi fydda i yn diolch llawer, Abel, mai hefo chrefydd yr ydw i, ac nid yn Eglwys Loeger."

Aeth y ddau ymlaen am yspaid i ymgomio am grefydd a'i chysuron; a chanfyddwn yn amlwg fod ymweliad Abel yn fendithiol iawn i fy mam. Edrychai yn gysurus; ac nid y peth lleiaf a barai iddi fod felly oedd mynegiad Abel nad oedd neb yn credu yn euogrwydd Bob. Ond buan iawn y daeth hi a minnau i ddeall nad oedd yn bosibl byw ar y teimlad hapus. Yr oedd yr amser yn hir i aros am ryddhâd fy mrawd. Trwy fod y cyflogau mor fychain yn ystod goruchwyliaeth Mr. Strangle, nid oedd gan fy mam ddim wrth gefn tuag at fyw. Am oddeutu tair wythnos bu ein cyfeillion yn garedig iawn wrthym; ond fel y mae yn dygwydd yn gyffredin mewn amgylchiadau cyffelyb gwisgodd amser awch a min y cydymdeimlad ymaith. Yr oedd pum' wythnos yn aros eto cyn y byddai Bob yn rhydd. Byth nid anghofiaf yr wythnosau hyny. Naill ai oddiar falchder neu rywbeth arall, ni chyfaddefais hyd yn nôd wrth fy nghyfaill penaf ddarfod i mi erioed fod yn dyoddef gan eisieu bwyd. Yr wyf yn ei addef yn awr. Credaf nad yw yn bosibl i undyn gael dychymyg am y sefyllfa hono heb iddo fod ynddi. Mae bod mewn mwynhâd o iechyd perffaith, a theimlo yr ystymog fel pe byddai yn llawn o lewod gwancus heb ddim i'w diwallu, yn ystâd nas gallaf ei desgrifio; ond gwn oddiar brofiad beth ydyw bod ynddi amryw weithiau. Nid oedd tuedd cwyno yn fy mam, ac yr oedd ynddi ryw fath o annibyniaeth ffol, onidê ni fuasai raid i ni fod mewn anghen. Yr oeddwn innau wedi etifeddu ei gwendidau, ac nid addefwn hyd yn nôd wrth Wil Bryan fy mod yn dyoddef oddiwrth anghen. Ond yr wyf yn sicr ei fod ef wedi deall hyny; oblegid gwelais ef amryw weithiau yn myned i'r tŷ, ac yn nol darn brâf o fara ac ymenyn neu fara a chig, ac wedi dechre ei fwyta yn tynu gwyneb hyll, ac yn dyweyd nad oedd ganddo archwaeth ato, ac y taflai efe ef ymaith os na chymerwn i ef. Yr oedd y llewod yn rhuo; ac yn hytrach nag iddo ei daflu ymaith, byddwn yn ei gymeryd. Ah, Wil! yr oeddit yn adnabod fy nghalon falch cystal ag yr oeddit yn gwybod am fy ystymog wag!

Gwerthodd fy mam amryw fân bethau y galiem eu hebgor; ond gofalai fod y prynwyr yn ddyeithriaid. Gwyddwn fod arni arswyd i bobl y capel ddeall ein bod

mor anghenog,—am ba reswm nis gwn, os nad yr hyn a grybwyllais, sef annibyniaeth neu falchder ffol. Yr wyf yn meddwl ei bod yn euog o arfer *dissimulation* ddwywaith neu dair; a gobeithiaf ei fod o dan yr amgylchiadau yn esgusodol. Pan oeddym heb ronyn o luniaeth yn y tŷ, ac ar ol hir ddirwest, aethom i dŷ Thomas a Barbara Bartley, o dan yr esgus i'w llongyfarch am eu gwaith yn dyfod i'r moddion, am yr hyn y bydd raid i mi grybwyll eto. Nid oedd ammheuaeth ar fy meddwl nad oedd fy mam yn llawenhâu yn ei chalon am fod y ddau hen ben wedi dechre dyfod i'r capel; ond yr oedd rhyw ddealltwriaeth dystaw rhyngddi hi a minnau na chaem ddyfod o dŷ Thomas heb bryd rhagorol o fwyd. Buom yno deirgwaith o dan wahanol esgusion, ac ni ddaethom oddiyno unwaith ar ein cythlwng nac yn waglaw. Mae y cyfwng hwnw yn boenus i mi sôn am dano; ac yr wyf yn prysuro, gan adael llawer cyfyngder sydd yn dyfod yn fyw i fy meddwl heb gyffwrdd âg ef. Ond nis gallaf fyned heibio i un amgylchiad heb gyfeirio ato. Rhwng amser brecwast a chinio ydoedd, hyny ydyw, i bobl eraill; oblegid ni feddai amser brecwast a chinio ystyr neillduol i mi y pryd hwnw. Nid oeddym wedi profi tamaid er canol y dydd blaenorol. Teimlwn yn wan a digalon, ond ceisiwn dreulio yr amser yn darllen. Eisteddai fy mam yn llonydd a synfyfyriol. Yn y man cododd a gwisgodd ei bonet, ac eisteddodd drachefn am yspaid. Cododd eilwaith a rhoddodd ei chlôg am dani, ac wedi synfeddwl ychydig eisteddodd wed'yn. Canfyddwn ei bod mewn ymdrech meddwl caled, a chlywn hi yn sibrwd; ond ni ddeallais ond dau air yn unig, sef "hâd" a "bara." Prin yr oeddwn yn deall ystyr y gair blaenaf, ond am yr olaf teimlwn fawr anghen o hono. Ymhen mynyd neu ddau cododd ar ei thraed yn benderfynol, a chyrchodd o'r ystafell gefn fasged fraich yn yr hon yr arferai gario pethau o'r siop pan oedd Bob adref ac yn gweithio. Gofynais iddi pa le yr oedd yn bwriadu myned; ac ebe hi,—

"Wel, fy machgen, dydi o ddyben yn y byd fod yn y fan yma yn pendwmpian. Fedrwn ni ddim dal lawer yn hŵy, wel di; a mae nhw'n deyd mai'r ci a gerddiff a gaiff. Mi âf yn ddigon pell, fel na naiff neb fy nabod i."

Deallais ei bwriad mewn eiliad, a theimlais fy ymysgaroedd yn rhoi tro ynof. Gosodais fy nghefn yn erbyn drws y tŷ, a chan ddolefain yn uchel, dywedais wrthi na chai fyned; ac ychwanegais y gallem ddal allan hyd drannoeth o leiaf. Nid oedd llawer o waith perswadio arni. Gosododd y fasged o'r neilldu, dadwisgodd ei chlôg a'i bonet, ac wedi i ni roddi ychydig o ffordd i'n teimladau, teimlwn i fy hun fod eisieu bwyd wedi fy ngadael yn hollol, a meddyliwn ar y pryd y gallaswn fyw am ddyddiau lawer heb ymborth. Os oes rhyw weithred yn fforddio i mi fwy o foddhâd na'i gilydd, y fynyd hon, fy ngwaith yn attal fy mam i fyned allan ydyw hono. Pe gadawswn iddi fyned, buasai fy ffydd heddyw yn llai yn addewidion Duw. Nid allaf ddesgrifio y pleser yr wyf yn ei gael yn y ffaith ei bod hi, er bod mewn cyfyngderau lawer, wedi cael myned i orphwys heb fod erioed yn cardota. Nid aethom dros y rhiniog y diwrnod hwnw, a llusgai yr oriau yn araf. Pan ddaeth y nos, clywem gnoc caled a chyflym ar ddrws cefn y tŷ, a chodasom ein dau ar unwaith i'w ateb. Pan agorasom y drws, nid oedd yno neb yn y golwg, ac yr oeddym ar fedr cau y drws pryd y gwelwn rywbeth ar y rhiniog. Sypyn ydoedd mewn papyr llwyd, ac wedi ei lapio yn daclus. Pan ddygais ef i'r tŷ, gwelwn fod enw fy mam wedi ei ysgrifenu yn garbwl arno. Nid oedd yr ysgrifen yn ddyeithr i mi. Yr oedd y sypyn mewn un ystyr yn debyg i galon yr anfonydd, sef yn cynnwys llawer o bethau da, pa rai a wnaethant i wyneb fy mam ddysgleirio. Ac eto yr oedd y dirgelwch oedd o'u cwmpas yn peri iddi betruso tipyn eu defnyddio. Ond y fynyd nesaf ebe hi,

"Mi ddaru Dafydd, wel di, un tro pan oedd chwant bwyd arno, fwyta o'r bara gosod, ac y mae y Gwaredwr wedi ei gyfiawnhâu o am hyny. Ac er na wyddom ninnau tŷ nesa' i lidiart y mynydd o ba le y mae y pethau da yma wedi dwad, dydw i ddim yn meddwl y gwnawn ni o'n lle wrth eu defnyddio."

Gan na ddarfu iddi hi ofyn i mi a oeddwn yn gallu dyfalu o ba le y daethai y sypyn, ni ddarfu i minnau awgrymu dim wrthi; a phe buaswn wedi gwneyd mae yn gwestiwn genyf a fuasai hi yn cyffwrdd â'i gynnwysiad, oblegid yr oedd ynof ammheuaeth cryf nad oedd yr anfonydd wedi ei gael trwy ffordd onest.

Wel, fy nghydymaith pur! mi wn yn eithaf da y buasit ti yn rhanu y tamaid olaf â mi; ac er na ddarfu i ti ar ol hyny sôn gair wrthyf am y sypyn, na minnau wrthyt tithau, yr oeddwn mor sicr mai ti oedd yr anfonydd ag oeddwn mai o dy law di y derbyniwn y darn bara ac ymenyn y dydd blaenorol.

---

### ADGOF AM GYFARFOD YSGOLION EDEYRNION YR HANNER CANRIF DIWEDDAF.

Mae yn sicr mai i lafur yr enwog Mr. Charles o'r Bala y mae bodolaeth y Cyf-

arfod Ysgol yn Edeyrnion i'w briodoli; mai efe a'i sefydlodd ar y cyntaf. Y mae genym hanes am un yn arbenig a gynnaliwyd yn Nghorwen, pryd yr oedd Mr. Charles yn bresennol, a dwy o ferched Gwernihowel, Yspytty, yn adrodd pennod gyda rhyw arddeliad neillduol. Un o'r ddwy a ddaeth yn wraig i'r Parch. William Roberts, Amlwch. Y pwnc yr ymdriniwyd âg ef yn y cyfarfod ydoedd "Cadwraeth y Sabbath;" a dywedir fod y fath arddeliad ar yr ymddyddau, fel yr oedd rhai ar ol myned adref i'r wlad yn myned i'r fath eithafion nes peidio a chynneu tân yn eu tai rhag ofn troseddu y pedwerydd gorchymyn.

Buasai yn dda genyf pe cawswn hanes y cyfarfod cyntaf yn y dosbarth, a pha adeg y cynnaliwyd ef. Mae yn sicr fod yma amryw o gyfarfodydd wedi bod cyn dechre yr hanner canrif diweddaf. Bu y diweddar Morris Roberts yn eu cynnal pan ydoedd yn byw yr ochr draw i'r mynydd. Ac ymhob man y mae yr Ysgol wedi cael rhoi ei throed i lawr, y mae y Cyfarfod Ysgolion wedi ei dilyn mewn arolygiaeth dda. Mae yn debyg mai prif ddynion y Cyfarfod Ysgol y tymmor hwn ydoedd Edward Jones a Siôn William, y ddau o Gynwyd. Bu y naill a'r llall yn ysgrifenyddion i'r Cyfarfod Ysgol. Yr oedd y brawd Edward Jones unwaith yn flaenllaw gyda phobpeth yn Nghynwyd. Yr oedd yn meddu dawn nodedig i holi plant, ac yn un hynod yn y cyfarfod eglwysig. Ond am ddiwedd ei oes, rhaid dyweyd ei fod yn gwasanaethu i'r rhybudd, "Yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, edryched na syrthio." Am y brawd arall, Siôn William, fel ei gelwid, yr oedd efe yn ofn i dorwyr y Sabboth. Byddai ieuenctyd y cwmpasoedd yn casglu at eu gilydd i Ddolydd Gwnodllfawr, a Siôn William yn byw yr ochr arall i'r afon ar eu cyfer. Ni byddai raid iddo tuag at eu gyru i ffwrdd ond cymeryd llyfr yn ei law, a myned at yr afon a chymeryd arno ysgrifenu eu henwau; ac ni byddai dim a'u rhwystrai i ffoi fel am eu bywyd; clywais un a fu yn rhedeg ei hun yn cyfaddef hyn. Yr oedd ganddo ddylanwad mawr yn ei ardal, er nad ydoedd ond isel ei sefyllfa yn y byd. Yn rhywle tua dechre yr hanner canrif diweddaf, yr wyf yn cofio cyfarfod yn Llansantffraid mewn hen ysgubor, pryd yr oedd Lewis Jones, Bala, yn holi yr Ysgol; ac yn y diwedd yr oedd yr ateb wedi myned i gylch bach iawn; neb yn ateb ond Siôn Wiiliam, ac nid oedd yntau yn boddloni Lewis Jones; a dywedodd yr hen frawd o'r diwedd, "Cymerwch hyna yrŵan." Pur debyg mai hwn ydoedd yr un olaf i Siôn William, o berwydd claddwyd ef Ebrill 9fed, 1833.

Mae yn hysbys i rai mai dan nawdd cyfeillion Corwen yr ydoedd yr ysgol yn Llansantffraid. Byddent yn anfon brodyr ar gylch, ymysg pa rai yr oedd rhywrai nodedig am eu gweithgarwch a'u hymroddiad gyda'r Ysgol Sabbothol. Yn eu mysg yr oedd gŵr o'r enw William Prichard, un ffyddlawn iawn, ac yn rhagori ar bawb mewn cyfarfod darllen. Byddai John Lloyd, ac Edward Lloyd ei fab, gŵr sydd eto yn fyw, yn llafurus a defnyddiol. Bu y brodyr hyn yn gweithio mewn undeb â brodyr oedd yn byw yn Bonwm; un oedd William Jones, am yr hwn y coffeir eto, Robert y Llifiwr, a Robert bach, fel ei gelwid, un ffyddlawn gyda'r plant. Y nodwedd cyntaf yr wyf yn ei gofio ar y cyfarfod yn y blynyddoedd cyntaf fyddai *society* nos Sadwrn i'r holl athrawon, pa un bynag a fyddent yn proffesu neu beidio. Byddent hwy ynghyd a'r cynnrychiolwyr yn y cyfarfod hwn; a byddai yr holl athrawon yn dyweyd eu profiadau gyda golwg ar y gwaith. Cofus genyf am gyfarfod nodedig iawn yn Llansantffraid, pryd yr oedd yn bresennol yn y cyfarfod yr hen frawd, y cerddor, John Ellis, Llanrwst, yn cymeryd rhan yn ei ddygiad ymlaen. Cafwyd cyfarfod nodedig, a phawb yn teimlo pwys y gwaith ac awydd bod yn ddefnyddiol. Ond bob yn ychydig aeth y cyfarfod nos Sadwrn oddiar y ffordd, a threfnwyd cyfarfod wyth o'r gloch y bore Sabboth yn ei le. Yn y cyfarfod hwnw byddent yn trefnu pob peth amgylchiadol yr Ysgol, er mwyn cael y cyfarfod arall i'r un pwrpas a chyfarfod nos Sadwrn, ynghyd ag ymddyddan buddiol ar ryw fater teilwng, fel y byddai gan y cynnrychiolwyr rywbeth gwerth ei gario adref. Byddai yn amcan bob amser, ymhob cyfarfod, bod o ryw les i frodyr y lle.

Bu yma amryw o frodyr teilwng yn llafurio yn y dosbarth, rhai am amser terfynol, eraill yn achlysurol. Y cyntaf a welais oedd y brawd anwyl Lewis Jones o'r Bala, yr hwn a fu yn dra ffyddlawn i'r dosbarth hwn tra y gallodd o ran ei iechyd. Yr oedd yr achos yn ei bobpeth yn agos at ei feddwl. Y nesaf ydoedd Samuel Jones, yn gyntaf o Landrillo. Bu yntau yn ffyddlawn ac ymroddgar; ac yr oedd yn meddu mwy o gymhwysder nag yr oedd llawer yn ei feddwl. Bu yn dilyn y cyfarfodydd am dymmor. Gwelais amryw yn achlysurol ynddynt, fel y byddent yn dygwydd bod yn y teithiau Sabbothol. Gallwn enwi y brodyr Henry Davies, Richard Roberts o Lanelltyd, Owen Williams o Dywyn, John Jones o'r Rhyl, Richard Edwards o Langollen. Un o'r cyfryw ydoedd Dr. Parry, Bala. Nid wyf yn meddwl fod neb yn anfoddlawn iddo gael y lle blaenaf o'r cwbl. Gwelais ef yn dyfod â gwerth punt o lyfrau

ar ei draul ei hun i gyfarfod yn Nghorwen, i'w rhanu yn wobrwyon am ddysgu yr *Hyfforddwr*. Robert Evans, gynt o'r Roe, wedi hyny o Gaergai, Llanuwchllyn: bu yntau hefyd gyda'r Cyfarfod Ysgol. Byddai yn holi yn ei ddull neillduol ei hun; ond nid mor hawdd bob amser oedd gallu ei ateb fel y byddai ef wedi llunio i'r atebiad fod. Yr oedd yn rhaid ei gael yn ol y *plan* ganddo ef, ac onidê ni byddai yn werth dim. Gwelais ef mewn cyfarfod yn Nglasaber yn myned ymhell i'r dwfn, a neb yn gallu ateb ond Richard Morris; ond wnai hyny mo'r tro gan yr holiedydd; a dywedai o'r diwedd, "Tewch chwi, Richard; gadewch lonydd i'r bobl dreio." A dyna lle yr oedd Richard yn y carchar; nid oedd wiw cynnyg mwy, ac onidê buasai yn myned yn helynt rhyngddynt. Difyr oedd gwrandaw ar Robert Roberts y Llan, yn ei ateb; yr oedd efe yn un pur siŵr ond fod yn rhaid iddo gael ychwaneg o amser na Richard Morris. Y nesaf gyda golygiaeth y cyfarfodydd oedd Cadwaladr Roberts, Rhydlydan, gŵr ieuanc gobeithiol. Symudodd o'r cylch hwn yn fuan; ac erbyn heddyw y mae wedi gadael pob cylch yr ochr yma i'r bedd. Y nesaf ydyw Mr. John Williams, Tŷ'nycoed. Bu efe yn ffyddlawn a llafurus am flynyddoedd. Yn ei adeg ef y daeth yr arholiadau yn gyffredin yn y dosbarth. Byddai efe yn cymeryd trafferth fawr i barotoi ar eu cyfer, y rhai a gynnelid bob dau fis yn ei amser ef; ac efe a fyddai ynddynt yn gyson, a medrai holi ynddynt i bwrpas. Am y cyfeillion a enwyd, y maent oll wedi ein gadael, a'r gwaith heb ei orphen; ond y mae amryw eto yn fyw sydd wedi bod yn swcr i'r achos, ac wedi gweithio yn yr un maes yn egnïol. Gellid enwi amryw a welais i gyda'r Cyfarfod Ysgol. Gwelais Dr. O. Thomas pan yn y Bala, a Mr. John Ogwen Jones, Mr. David Davies, Abermaw, Mr. Edward Williams, Caemawr, a Mr. Richard Williams, Llwynithel; Mr. Evan Peters, Bala, Mr. William Williams, Corwen, y pryd hwnw, a Mr. David Jones, Gwyddelwern. Erbyn hyn y mae ei ofal ar Mr. William Griffiths. Fy nymuniad ydyw ar i'r gwaith gynnyddu fwyfwy.

Teilwng ydyw coffa am frodyr o flaenoriaid a fuont yn ffyddlawn ragorol gyda'r Cyfarfod Ysgol, a rhai o honynt yn arbenig felly, yn enwedig y brawd anwyl Evan Evans, Tŷ'nycefn, Corwen, gŵr na welwyd ei debyg eto. Yr oedd wedi ymgyfuno ynddo addfwynder ac awdurdod, serchogrwydd a mawrhydi. Yr oedd yn un o'r cyfeillion goreu a ellid ei gael, ac yn wir ofalus am yr ieuenctyd. Cefais brawf o hyny trwy brofiad. Gŵr boneddig ydoedd yn ol gwir ystyr y gair; efe ydoedd prif ddyn y Cyfarfod Ysgolion, a'r llywydd bob amser. Ni welwyd achos chwilio am lywydd tra y gallodd efe ddyfod iddo. Nid caffel ei anfon yno y byddai, ond dyfod o wir ofal am dano bob amser; ac yr oedd ynddo bob cymhwysder i lenwi y gadair. Ni bu rhoddi rhywun yn y swydd am dymmor yn welliant o gwbl, ond yn hytrach fel arall. Ac O na chodai yr Arglwydd rywrai o gyffelyb ysbryd eto yn y dosbarth! Collwyd ef yn nghanol ei ddefnyddioldeb pan oedd pawb yn edrych i fyny ato. Gresyn ei fod heb gofiant teilwng o hono. Brawd arall a fu yn ffyddlawn iawn ac a nodwyd eisoes, ydoedd Richard Morris, Llanarmon. Yr oedd efe yn meddu ar lawer o gymhwysderau i fod yn ddefnyddiol, ac yn perchen côf hynodedig tuag at allu llanw ei feddwl â phobpeth y Bibl a'r *Hyfforddwr*. Yr oedd yn athrawiaethydd heb ei debyg yn ei adeg, ac yn llawn o arabedd. Cofus genyf glywed am dano mewn Cyfarfod Misol yn y Gro, pan oedd rhywun yn cwyno fod yr Hen Gorff yn hir yn dyfod at eu gilydd. Dywedai Richard Morris, "Y maent yn siwr o ddyfod, y mae yma bar o *lewys* iawn yn barod." Yr oedd Dr. Lewis Edwards a Lewis Jones o'r Bala wedi dyfod eisoes. Yr oedd ar yr ochr arall i'r mynydd frawd zelog iawn gyda phob peth yr Ysgol Sabbothol, sef Richard Edwards, Tŷ'ntwll, gŵr a fu yn offeryn i yru arferion drwg o'r wlad. Rhaid oedd bod yn egnïol gyda hyny yn nghychwyniad yr achos. Un arall a fu yn llafurus a zelog yn ei ddydd ydoedd Robert Evans, Gwyddelwern, gŵr a wnaeth ei ôl ar y gymydogaeth dan lawer o anfanteision. Bu yn dra ymroddgar gyda'r Cyfarfod Ysgol a'r Cyfarfod Misol. Byddai yn myned ar ei draed i ben uchaf Sir Feirionydd, yr hyn a gymerai dridiau o'i amser, heb ddim yn ei gymhell ond gofal am yr achos goreu. Yr oedd yn un hynod mewn gweddi. Brodor o Landrillo ydoedd; ac aeth unwaith oddiyno yn ei zel i ganlyn John Elias yn ei deithiau mor bell a Dinbych. Sylwodd Mr. Elias ei fod yn ei ganlyn ar hyd y daith; ac aeth ato yn Ninbych, a gofynodd a wnai ef ddechre yr oedfa iddo, ac felly fu. Pan oeddid yn gofyn caniatâd yn y Bala, mewn Cyfarfod Misol, i ddewis blaenoriaid yn Ngwyddelwern, gofynai y Parch. Simon Lloyd, Plas yn dre, mewn syndod, "I ba le y mae Bob wedi myn'd?" Felly ystyriai Mr. Lloyd ef yn flaenor cyn y dewisiad o hono. Dymunwn am ychwaneg o'r un ysbryd. Bu yma amryw frodyr eraill y dylid eu henwi, yn dra ffyddlawn gyda'r achos mawr yn y dosbarth. Yr oedd brawd yn Nghorwen o'r enw Hugh Griffiths yn meddu llawer o'r un ysbryd âg Evan Evans, Tŷ'nycefn. Byddai y naill a'r llall yn pregethu yn achlysurol. Clyw-

ais y ddau lawer gwaith. Yr oedd hefyd yn Llansantffraid ddau frawd a fuont ffyddlawn i'r Cyfarfod Ysgolion: William Jones, un o'r blaenoriaid cyntaf yno, ac a fu yn flaenor yn Llangollen y rhan olaf o'i oes—ac Edward Roberts, yr hwn na chafodd ond tymmor byr iawn ar ol ei ddewis yn swyddog. Byddai yn gyson ymhob cyfarfod tra y gallodd, ac yr oedd yn meddu ar gymhwysderau tu hwnt i'r cyffredin. Un arall a gerddodd lawer i'r cyfarfodydd oedd John Williams, Gwyddelwern. Cofus genyf ein bod yn dyfod adref o Glasaber un tro, ac yn Dolydd Ceiriog yn cynnal cyfarfod gweddïo. Pan yr oedd John yn gweddïo ni buasai raid bod yn glustdeneu iawn tuag at ei glywed o bob tu i'r mynydd. Yr oedd yn Glan'rafon rai brodyr rhagorol hefyd, megys John Jones o'r Hengar, a Thomas Jones o Bencelli, ac Evan Jones, Tŷ'nybwlch. Gweddus ydyw bod yn ddiolchgar i'r Arglwydd am ei amddiffyn dros yr achos yn y dosbarth am gynifer o flynyddoedd. Ni ddygwyddodd dim anghydfod yn ein mysg ar hyd yr holl amser, eithr y cydgordiad llwyraf; pawb yn cyd-dynu er mwyn myned â'r gwaith ymlaen; ac amlwg ydyw mai ymlaen y mae y gwaith da yn myned. Cefais y fraint o fod yn bresennol mewn pump o leoedd y tro cyntaf erioed i'n Cyfarfod Ysgol fod ynddynt. Mae'r gwaith yn fawr; deisyfwn am i Arglwydd y cynauaf anfon gweithwyr i'w gynauaf. Sicr yw mai angen mawr yr Ysgol Sabbothol ydyw cael dynion cymhwys yn arweinwyr, a mwy o ymroad o'i phlaid, a mwy o gymhell i ddyfod iddi. Gwnawn y cwbl mewn ysbryd gweddi, canys "os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria yr adeiladwyr wrtho."

ROBERT EDWARDS.

*Cynwyd.*

---

## DECHREUAD A CHYNNYDD METHODISTIAETH YN Y WAENFAWR, ARFON.*

*Gan y Parch.* FRANCIS JONES, *Waenfawr.*

II.

WEDI bod yn addoli yn Tŷ-ucha'r-ffordd am oddeutu pedair blynedd ar ddeg ar hugain, cyfodwyd erlidigaeth yn erbyn yr ychydig frodyr a chwïorydd crefyddol a berthynent i'r lle gan weinidog plwyfol Aber. Nid oes hysbysrwydd ar gael am seiliau nac achlysur ei ymosodiad, ond yn unig mai felly y bu; a gorfodwyd hwy i ymadael. Yn y cyfamser — yn ol un adroddiad—daeth John Evans o'r Bala, a Mr. Charles, yr hwn yr adeg hono oedd newydd ymuno â'r Methodistiaid, heibio. Yn ol adroddiad arall, John Evans ei hun a ddaeth heibio; ac wedi clywed am brofedigaeth y frawdoliaeth, dychwelodd yn ol i'r Bala i geisio Mr. Charles. Cynnorthwy Mr. Charles, modd bynag, yn rhywfodd a gafwyd; a phrynwyd darn o dir a thŷ annedd arno, i adeiladu capel. Gwnaed hyn yn y flwyddyn 1785. Mr. William Evan, gwehydd, oedd yn byw yn y tŷ ar y pryd. Yr ymddiriedolwyr cyntaf oeddynt, Thomas Evans, Waenfawr, Hugh Williams, Robert Jones (Rhoslan), Thomas Charles, a John Evans, Bala. Adeilad bychan ydoedd, yn mesur oddeutu pedair neu bump llath o lêd, wrth saith neu wyth llath o hyd, a thŷ annedd ac ystabl wrth ei dalcen, gyda *partition* coed a drws ynddo rhwng y tŷ a'r capel. Gelwid hwn "y capel main." Ymddengys mai cyfaddasu yr hen adeilad oedd yn y lle o'r blaen a wnaed, heb ychwanegu ond ychydig o newydd ato. Yr oedd ei ddodrefn, sef y pulpud a'r meinciau, yn hynod ddiaddurn. Planciau rhyddion oedd rhai o honynt, wedi eu gosod ar gèryg. Costiodd y tir a chyfaddasu yr adeilad oedd arno tua £150. Yn nghofnodau Cymdeithasfäoedd a gynaliwyd yn y Bala yn y blynyddoedd 1787 a 1790, coffeir y talwyd yn y gyntaf £5, ac yn yr ail £40, i glirio capel y Waenfawr. Y mae yn syn gweled, wrth edrych yn ol, fod yr achos crefyddol yn y lle hwn wedi cael ei ddwyn ymlaen am ddeugain mlynedd neu fwy heb un math o gapel, yn enwedig erbyn y cofiwn fod y fath ddynion â Thomas Griffith a Thomas Evans, a'u meibion, yn perthyn i'r lle; ond felly yr adroddir y gwnaed.

Wedi adeiladu y capel a'r tŷ, caed Mary Thomas, y ferch i Thomas Griffith y son-

---

* Wedi anfon i'r wasg y crybwylliad am y pregethwr ieuanc rhagorol Evan Evans, o'r lle hwn, a ymddangosodd yn yr ysgrif flaenorol, t. d. 177, daeth yr ysgrifenydd ar draws y coffâd canlynol am dano yn Muchdraeth dyddorol y diweddar Barch. J. Mills, Llundain. "Darluniai efe" (sef Edward Mills, tad y Parch. J. Mills) "Evan Evans fel un o'r pregethwyr mwyaf grymus ac effeithiol a glywsai erioed. Y noswaith y byddai Mr. Evans yn pregethu yn y dref, byddai yn rhedeg y ddwy filldir ffordd o'r fferm i'r capel yn y brys mwyaf, er mwyn bod yn bresennol pan y byddai y pregethwr yn rhoddi yr emyn allan ar ddechre y gwasanaeth; oblegid yr oedd y fath swyn yn ei lais, a'r fath ddylanwad yn canlyn adroddiad yr emyn, fel y byddai y gynnulleidfa yn toddi odditano. Ymgasglai llawer o'r dynion mwyaf annuwiol yn y dref i'w wrando; a byddai yntau, dan nerth y dylanwad nefol â'i meddiannai wrth bregethu, yn anghofio ei afiechyd, fel y byddai ei esgid ar ddiwedd y bregeth yn fynych yn llawn gwaed oddiwrth y doluriau oedd arno. Er hyn oll ni pheidiai a phregethu er neb."—Iawn yw crybwyll hefyd y camgysodwyd yn t. d. 176, enw y gweinidog a "ddystawyd" yn Llandwrog; John *Williams* a ysgrifenwyd, ac felly y dylasai fod.

iwyd am dani eisoes, i ofalu am danynt. Fel y crybwyllwyd yn barod, yr oedd y fenyw rinweddol hon yn ddiarebol am ei ffyddlondeb a'i dawn at y gwaith y galwyd hi iddo. Byddai y pregethwyr dyeithr a ddeuent trwy y wlad, yn amcanu, os byddai modd, bod yn y Waenfawr yn yr hwyr, er mwyn cyfranu o'i lletŷgarwch. A chan y byddai eu nifer yn aml yn ddau neu dri yn yr wythnos, nid swydd segur oedd ganddi. Arferai hi aros ar ei thraed ymron trwy y nos y byddai pregethwyr tan ei gofal, er mwyn glanhâu a sychu eu dillad, a darparu dewisol ymborth; a chlust-ymwrandawai yn fynych a fyddent hwy yn cysgu. Un noson pan oedd Dafydd Morris, Twrgwyn, ar ymweliad â'r lle, aeth Mary Thomas yn y nos i wrando a oedd pob peth yn dawel yn yr ystafell. Tra wrth y drws clywai ef yn rhoddi pennill allan; a chan fod ganddi gof da, cipiodd ef i fyny. Bore dranoeth dywedodd wrtho iddi ei glywed yn adrodd pennill yn y nos; ond sicrhâi yntau na wyddai efe ddim am hyny, oblegid ddarfod iddo gysgu ar hyd y nos. Gofynodd iddi a oedd hi yn cofio y pennill. "Ydwyf," meddai hithau, "dyma fo:—

'Yn ngolwg dyn 'r wy 'n aflan
O'r gwadan hyd y pen;
Yn ngolwg Duw 'r wy 'n gyfiawn,—
Pur yw fy mantell wen:
Cyfiawnder y Messïah,
A haeddiant Adda 'r ail;
'D oes ellyll yn ngwlad annwn,
All gloddio dan fy sail.'"

Tystiai efe na chlywodd y pennill erioed o'r blaen, ac fod yn rhaid ei fod wedi ei gyfansoddi yn ei gwsg.

Treuliai y bardd talentog Dafydd Ddu lawer o amser gyda'r pregethwyr a alwent yn nhŷ ei chwaer ar eu teithiau. Un tro, cyn neu gwedi yr ymweliad uchod, pan yn parotoi i fyned ar ei farch i gychwyn i'w gyhoeddiad nesaf, gofynai Dafydd Morris i'r bardd am wneyd pennill iddo. Yr oedd y pregethwr hwnw, fel y mae yn hysbys, yn hynod o dew a thrwm o gorffolaeth. Plygodd y bardd ei ben am fynyd, ac yna cyfarchodd y pregethwr â'r pennill canlynol:—

"Am Dafydd Morris 'r wyf fi 'n syn;
Nid oes—mae hyn yn rhyfedd—
Berffeithiach cristion mewn un plwy'
Yn cario mwy o lygredd.
Ar fyr, ehêd ei enaid ef
I mewn i'r nef fendigaid,
A'i gorff a fydd ar waelod bedd
Ddanteithiol wledd i bryfaid."

Bu Mary Thomas farw Ionawr y 9fed, 1830, yn 75 mlwydd oed, wedi bod yn gofalu am dŷ y capel am bum' mlynedd a deugain; a chladdwyd hi yn Bettws Garmon.

Wrth ddilyn yr hanes mewn trefn amseryddol, yr amgylchiad nesaf sydd i'w gofnodi ydyw sefydliad yr Ysgol Sabbothol. Cymerodd hyny le yn y flwyddyn 1791. Y prif offerynau i'w chychwyn oeddynt ddau ŵr ieuanc—Evan Evans, y pregethwr, a John Pritchard, Ty'n-y-gerddi. Bu y diweddaf fyw i hen ddyddiau, a pharhaodd yn weithgar gyda'r Ysgol Sabbothol hyd y diwedd. Ymddengys mai lled amddifad o drefn ac urddas oedd dygiad gwaith yr Ysgol ymlaen yma am rai blynyddau, gan mai un David Jones, Penycae — blaenor ieuanc, ymroddgar, a fu farw tua 1817, pan nad oedd ond oddeutu deg ar hugain oed—oedd y cyntaf i'w dechre trwy ddarllen a gweddïo. Cyn hyny ni byddid yn arfer ond yn unig gweddïo wrth ei diweddu, am yr ystyrid fod dysgu darllen yn waith rhy fydol i'w ddwyn ymlaen yn hollol fel y rhanau eraill o foddion gras. Ond pa beth bynag oedd eu syniad am gysegredigrwydd yr Ysgol Sabbothol, yr oedd ganddynt o'r cychwyn ddigon o barch iddi i weithio yn zelog drosti. Cyn hir wedi iddi gael ei dechre yn y Waenfawr, sefydlwyd canghenau-ysgolion yn yr ardaloedd o amgylch, mewn lleoedd a elwir Ceryg y rhyd, Tŷ newydd (Treflan), a Gwredog isaf.

Yn y flwyddyn 1807 newidiwyd ffurf y capel a adeiladwyd dan gyfarwyddyd Mr. Charles, er mwyn ei helaethu. Chwalwyd y rhan o ochr yr adeilad a ffurfiai wyneb y capel, ac estynwyd y mur ymlaen, nes ei wneyd tua chymaint ddwywaith ag oedd ar y cyntaf. Gadawyd y tŷ fel yr oedd, oddieithr gwneyd mur cèryg yn lle y *partition* coed. Mesurai y capel yn awr tua chwech neu saith llath o led—sef ei hŷd blaenorol, wrth tua deg llath o hŷd; a safai yn groes i'r adeilad fel yr oedd ar y cyntaf. Gosodwyd *gallery* ar y ddau dalcen, ac un côr *(pew)* gyda'r mur oddiamgylch, a meinciau ar hyd y llawr. Dygid y moddion crefyddol ymlaen mewn tŷ gerllaw, a elwir Tŷ mawr, tra y buwyd yn adeiladu. Ar yr adeg hon, sef tra yr oeddid yn adnewyddu y capel, bu adfywiad lled rymus ar grefydd yn y lle, yn benaf ymhlith y bobl ieuainc. Y pryd hwnw y daeth David Jones, wedi hyny o Beddgelert, y pregethwr, a'r David Jones, Penycae, y soniwyd am dano yn barod, i undeb â'r eglwys.

Y flwyddyn 1818 ydoedd adeg "diwygiad mawr Beddgelert." Ni theimlwyd yma gymaint o gyffröad ar yr adeg hono ag a wnaed yn y rardaloedd cyfagos, er y chwanegwyd amryw at grefydd. Yn eu plith yr oedd David Rowland, wedi hyny o Gaernarfon, blaenor hysbys trwy holl

Arfon, a Rowland Morris ei dad. Ymddengys na chafwyd ond megys godre y gawod fawr ryfeddol hono yn yr ardal hon.

Y mae llyfr sydd yn cynnwys rhanau o gyfrifon yr eglwys yn y blynyddoedd dilynol i'r diwygiad uchod yn awr ar gael. Dechreua yn Rhagfyr, 1818. Beth a fyddai i'r darllenydd gael trem dros y taliadau am un mis? Caiff felly syniad am y pregethwyr a ymwelent âg yma bron bob mis ar hyd y flwyddyn, oblegid nid oes nemawr wahaniaeth rhwng y naill fis a'r llall. Gwêl hefyd y swm a roddid yn gydnabyddiaeth iddynt hwy, ynghyd â'r hyn a delid i Mary Thomas tuag at ddarparu ar gyfer eu hangenrheidiau. Cymerwn fis Mawrth, 1819—pedair blynedd a thriugain i'r adeg yr ysgrifenir hyn. Chwanegir yn unig enwau cartrefi y pregethwyr:—John Humphreys (Caernarfon), 1s.; Lewis Morris (Seion), 1s. 6c.; Moses Parry (Dinbych), 1s.; Mary Thomas, 1s. 6c.; William Jones (Rhuddlan), 2s.; Mary Thomas, 1s. 9c.; Robert David (Bryn-engan), 1s.; Richardson (Caernarfon), 1s. 6c.; John Humphreys (Caernarfon), 1s.; Peter Roberts (Llansannan), 1s.; Mary Thomas, 2s. 8c.; Henry Roberts (Bangor), 1s.; Thomas Jones (anhysbys o ba le), 1s. Cyfanswm y mis, 17s. 6c. Mewn misoedd eraill ceir enwau Humphrey Gwalchmai, Michael Roberts, John Hughes, Richard Lloyd, Foulk Evans, &c. Wych hen dadau! Hauasant lawer o'r ysbrydol heb fedi ond ychydig o'r cnawdol.

Yr oedd cyfanswm y casgliad eglwysig am y flwyddyn hono yn £11 10s. 2c. Dygir cyfrifon y llyfr hwn yn anorphenol i ben yn nghanol Medi, 1820, trwy i'r gŵr da a'u cadwai, sef John Hughes, Ty'ntwll, gael ei ladd y 16fed o'r mis hwnw gan lithriad craig yn chwarel y Cefndu. Tua mis o amser oedd er pan y dychwelasai o daith yn y Deheudir gyda'r Parch. Daniel Jones, Llanllechid.

Ymhen pymtheng mlynedd wedi yr adnewyddiad blaenorol, sef yn 1822, tynwyd ochr yr adeilad yr hon a ffurfiai wyneb y capel uchod i lawr drachefn er mwyn ei ledu. Ei faint ar ol yr ëangiad hwn arno oedd tua deg llath ysgwâr. Adeiladwyd yn awr *gallery* gyferbyn â'r pulpud, yn gystal ac yn y ddau dalcen, a gwnaed grisiau cèryg i fyned iddi oddiallan. Tynwyd ymaith y grisiau oedd yn myned i'r *gallery* oddimewn. Yr un amser gwnaed tŷ capel newydd. Yn wir, ar y cyntaf, ni fwriedid adeiladu ond y tŷ yn unig; eithr wedi dechre, ennynwyd eu zel, nes bod ganddynt galon i weithio.

Yn y flwyddyn 1832 bu adfywiad crefyddol lled gyffredinol trwy Gymru oll, ond yn enwedig yn Arfon; a phrofwyd ef yn rymus iawn yn y Waenfawr. Ymunodd llawer â'r eglwys o newydd. Profai pob dosbarth yn ddiwahaniaeth o hono. Yn ngwres yr adnewyddiad ysbryd a roddwyd iddynt, ac o herwydd y chwanegiadau a wnaed atynt yr adeg hono, teimlai y frawdoliaeth anghen ac awydd am helaethu lle eu pabell ac estyn cortynau eu preswylfa y drydedd waith. Tynwyd y cwbl i lawr—y capel a'r tŷ, ac adeiladwyd y ddau o newydd; y capel erbyn hyn yn mesur deunaw llath o hyd wrth un llath ar bymtheg o led. Nid oedd *gallery* ar hwn. Yr oedd yr un ffurf, oddieithr y wyneb, â'r capel presennol. Sylfeini a muriau hwnw ydyw y rhai sydd yn aros yn awr, ond eu bod wedi eu codi yn uwch, a'r wyneb wedi ei estyn allan. Yn y cyfarfod agoriadol ddechre Mawrth, 1838, pregethodd y Parchn. John Elias; John Jones, Talysarn; John Phillips, y pryd hwnw o Dreffynnon; a Robert Owen, Rhyl—Nefyn y pryd hwnw. Pregethid yn yr ardd o flaen y capel yn misoedd haf 1837, ar ol tynu y capel i lawr; a chynnelid yr Ysgol Sabbothol yn yr Ysgoldŷ Cenedlaethol. Un o'r enw Mr. Thomas, gŵr tawel a charedig, oedd y curad eglwysig yma ar y pryd. Wedi i'r tywydd auafu, nes myned yn anfanteisiol i barhâd y moddion yn yr awyr agored, aethpwyd i gydaddoli â'r Annibynwyr hyd nes y daeth y capel newydd yn barod. Yn nghapel yr Annibynwyr hefyd y cynnelid y cyfarfodydd eglwysig. Yn yr adeg frwdfrydig yma y talwyd dyled yr hen gapelau blaenorol. Gwahoddwyd y Parch. John Jones, Talysarn, yma i bregethu ar noson yn yr wythnos, ac i annog y gynnulleidfa i ymegnïo gyda'r amcan hwnw; a llwyddwyd yn rhagorol.

Ar ol hyn bu seibiant am dros ugain mlynedd, heb unrhyw amgylchiad neillduol yn hanes yr achos i alw sylw ato. Ond yn y flwyddyn 1859—blwyddyn y diwygiad *cyffredinol* diweddaf a gafodd y Dywysogaeth hyd yn hyn, "yr hen bethau a aethant heibio; wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Profwyd yma bethau anghyffredin iawn yr adeg hono. Yn ystod y cyfarfod blynyddol, Sabboth a Llun y Sulgwyn, a'r naw diwrnod ar ol hyny, chwanegwyd at yr eglwys bedwar ugain a phedwar o eneidiau; ac yn y misoedd dilynol chwanegwyd llawer yn rhagor.

Nos Fercher, Tachwedd yr 16eg, ar ddiwedd cyfarfod eglwysig a gynnelid gan y Parch. John Jones, yn awr o Rosllanerchrugog, gweinyddid sacrament swper yr Arglwydd; ac eisteddai gyda'r eglwys y noson hono 137 o gymunwyr newyddion, i gyfranu am y waith gyntaf wedi eu derbyn i gyflawn aelodaeth. Haws dychy-

mygu na darlunio y teimlad a lanwai y lle. Yr un modd ag yn nyddiau y Salmydd, "pan ddychwelodd yr Arglwydd gaethiwed Sion, yr oeddym fel rhai yn breuddwydio. Yna y llanwyd ein genau â chwerthin, a'n genau â chanu. Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Yr oedd "hau mewn dagrau" wedi bod am flynyddau lawer; eithr yn awr fe ddaeth y "medi mewn gorfoledd."

Ond yn adeg ei llwyddiant mwyaf y mae eglwys Dduw yn aml, fel y saint yn bersonol, yn fwyaf ei pherygl. O'i fedydd, ac yn ddioed wedi i'r Ysbryd ddisgyn arno fel colomen, ac i'r llef o'r nef gydnabod ei Ddwyfol Fabolaeth, yr arweiniwyd yr Iesu i'r anialwch i'w demtio gan ddiafol. Felly hefyd y bu gyda'r eglwys Fethodistaidd yn y Waenfawr. Y blynyddoedd dilynol i'r diwygiad mawr a goffäwyd ddiweddaf, ar rai cyfrifon, oedd y mwyaf profedigaethus yn ei hanes. Teimlid bellach fod yn rhaid cael un o ddau beth :—naill ai helaethu y capel y bedwaredd waith, neu adeiladu un arall yn nghŵr pellaf y gymydogaeth. Yn y flwyddyn 1863 aethpwyd i geisio penderfynu pa un o'r ddau a wneid; ac yn anffodus ymranodd yr eglwys yn ddwy blaid ar y mater—y naill blaid yn dadleu yn zelog dros helaethu yr hen gapel, ac aros yn un gynnulleidfa, gan ddarogan mai dinystrio yr achos fyddai ei ranu, a'r blaid arall yn dadleu yr un mor zelog i'r gwrthwyneb. Rhedai y teimladau yn uchel iawn o'r ddeutu, ac ni fynai y naill blaid gael ei threchu gan y llall. Bu yr achos fwy nag unwaith o flaen y Cyfarfod Misol. Rywfodd, o'r diwedd, y blaid a ddadleuai dros helaethu yr hen gapel a orfu. Hwyrach, erbyn hyn, y buasai yn llawn cystal iddi fod fel arall, gan fod y cynnydd yn y boblogaeth, ac eangder yr ardal, yn codi y cwestiwn i'r wyneb drachefn yn awr yn anosgoadwy. Yr helaethiad a wnaed ar y capel yn 1863-4 oedd estyn y wyneb ymlaen, codi y muriau fel y crybwyllwyd eisoes, a gosod *gallery* o amgylch. Y mae yn awr yn un o'r capelau eangaf a mwyaf cyfleus yn Arfon.

Yn yr un flwyddyn, sef 1864, adeiladwyd capel neu ysgoldŷ bychan yn rhan dde-orllewinol yr ardal — Ysgoldŷ Penyrallt, lle y cynnelir yr Ysgol Sabbothol a gedwid o'r blaen yn nhŷ Mr. Hugh Jones, Penyrallt, a chyn hyny yn Gwredog; a phregethir yno yn fisol. Ac yn Tachwedd 1880, wedi i Eglwys Loegr werthu ei hawl i'r Ysgoldŷ Cenedlaethol, cymerwyd yr adeilad hwnw dan ardreth gan y Methodistiaid; a chynnelir yno yn awr, yr un modd ag yn yr ysgoldŷ arall, ysgol bob Sabboth, a phregeth bob mis.

Ni bu yma weinidog na phregethwr yn cartrefu nac yn dwyn unrhyw gysylltiad â'r eglwys hon er pan y symudodd John Thomas i Lanberis, ac y bu farw Evan Evans, hyd y fl. 1864, pan y dechreuodd y Parch. Richard Humphreys, yn awr o'r Bontnewydd, bregethu. Efe ynghyd a Mr. John J. Evans, gŵr ieuanc sydd yn pregethu er ys ychydig fisoedd, yw yr unig rai a godwyd i'r weinidogaeth oddiyma yn y ganrif bresennol. Ond bu yma droion ddiaconiaid o gymhwysderau tra anghyffredin. Peth eithriadol, mae yn debyg, ydyw cael yn hanes eglwys y mae dyddiau ei blynyddoedd yn estyn mor bell yn ol â mebyd y Cyfundeb, restr o'r *holl* ddiaconiaid a fu yn gwasanaethu ynddi o'r cychwyn; ond ymddengys fod y cyfryw ar gael ynglŷn â hanes eglwys y Waenfawr; ac wele hi :—William Hughes, Glynafon; William Parry, Gwastadfaes; Thomas Jones, Tanyrallt; Evan Griffiths, Bryneithin; Humphrey Thomas, Hafodoleu; David Jones, Penycae; Harri Thomas, Bryngwylan; John Hughes, Tŷ'ntwll; Richard Owen, Bryneithin; Morgan Owen, Tŷ'ncaenewydd; David Rowland (a symudodd i Gaernarfon); William Evans, Cilfechydd; John Price, Glanygors; Thomas Griffiths, Caegwyn; John Owen, Cae-steel; John Pritchard, Tŷ'nygerddi; William Jones, Glanygors; a Morgan Jones, Cefndu House. O'r nifer uchod yr oedd John Hughes a Richard Owen yn ddynion lled gyhoeddus. Bu y naill a'r llall—yn enwedig y diweddaf—yn cyd-deithio llawer â phregethwyr, i ddechre odfeuon iddynt, trwy y Deheubarth a'r Gogledd. Cofir gan lawer sydd yn awr yn fyw am synwyr cryf ac ymroddiad David Rowland, gwreiddioldeb miniog William Jones, a medrusrwydd a gwresogrwydd dawn y caredig Morgan Jones. Y mae yma naw o wŷr "da eu gair" yn ddiaconiaid yn awr; a chan eu bod yn aros hyd yn hyn, ni choffeir eu henwau yn y rhestr uchod.

Cyn terfynu, dylid coffâu mai eglwys y Waenfawr ydyw mammaeth eglwysi Capel Coch (Llanberis), Ceunant, Salem, Rhyd-ddu, a Moriah yn Nghaernarfon. Thomas Griffith, a'i fab John Thomas, y pregethwr, a sefydlasant yr eglwys yn Llwyncelyn, yr hon a ymgartrefodd wedi hyny yn y Capel Coch. Nifer yr aelodau yno ymhen pum' mlynedd wedi sefydlu yr eglwys oedd 16. Nid oes hanes i'r Methodistiaid feiddio pregethu gymaint ag unwaith yn nhref Caernarfon hyd y flwyddyn 1780—yn agos i ddeugain mlynedd ar ol iddynt ddechre yn y Waenfawr; y fath ydoedd ffyrnigrwydd dibaid yr erlidigaeth. Ac i'r Waenfawr y byddai yr ychydig grefyddwyr a gartrefent yn y dref yn gorfod dyfod i addoli am amryw flynyddau.

Cyfanrif y cyflawn aelodau yn y Waenfawr, yn ol yr ystadegau a gyhoeddwyd ddiweddaf, sef am y flwyddyn yn terfynu Rhagfyr 31, 1882, ydoedd 491. Plant yr eglwys, 262. Cyfanrif yr Ysgol Sabbothol, gan gynnwys y cangenau, 752. Cyfanrif y gynnulleidfa, 833.

Bellach y mae ein crynodeb o hanes Methodistiaeth yn yr ardal hon yn dirwyn i ben. Crynodeb yn unig y bwriadwyd iddo fod. Hawdd iawn fuasai ymhelaethu; ond dichon ei fod eisoes yn rhy faith yn nghyfrif y sawl nad oes ganddynt ddyddordeb yn y lle. Ac eto anhawdd peidio cael hyfrydwch wrth gofio blynyddoedd deheulaw y Goruchaf, ei weithredoedd a'i wyrthiau gynt.

## Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### "TY FY NHAD."

IOAN xiv. 2: "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau."

GOFYNIAD a ofynir yn gyffredin oddiwrth y geiriau hyn ydyw, Pa le a olygai Iesu Grist trwy yr ymadrodd, "tŷ fy Nhad?" Ac yn gyffredin hefyd rhoddir dau atebiad gwahanol i'r gofyniad: sef 1, yr holl greadigaeth; 2, y nefoedd. Y mae gan y naill a'r llall o'r atebion hyn esbonwyr enwog o'i blaid, ac y mae y naill ddosbarth a'r llall yn dadleu yn zelog dros gywirdeb ei atebiad ei hun. Ein hamcan yn yr ysgrif hon ydyw ceisio dangos pa un o'r ddau atebiad sydd yn fwyaf tebygol o fod yr un cywir. Pa un o'r ddau olygiad sydd yn rhoddi yr ystyr fwyaf naturiol i'r ymadrodd "tŷ fy Nhad," a'i ystyried ynddo neu arno ei hun, ac i'r frawddeg o ba un y mae yn rhan, a'i hystyried arni ei hun? ac yn ol pa un o'r ddau y mae amcan yr Iesu yn llefariad y frawddeg, a'r holl adnod hon, ynghyd a'r adnod flaenorol a'r un ddilynol, yn cael ei gyrhaedd yn fwyaf eglur ac effeithiol? I'r graddau y rhoddir atebion eglur i'r gofyniadau hyn, y llwyddir i ddangos pa un o'r ddau olygiad yw y mwyaf tebygol o fod yr un cywir.

I. Y golygiad mai yr holl greadigaeth a olygai Iesu Grist trwy yr ymadrodd "tŷ fy Nhad."

1. Y mae llawer i'w ddywedyd dros y golygiad hwn. Cynnwysa a chyflëa o flaen y meddwl un o'r syniadau neu o'r drychfeddyliau prydferthaf a mwyaf mawreddog. Rhydd hefyd ystyr sydd yn ymddangos yn naturiol iawn i'r ymadrodd "tŷ fy Nhad," ac i'r holl frawddeg, "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau." Y mae "tŷ fy Nhad" yn enw cyfaddas iawn ar yr holl greadigaeth; o herwydd, yn gymaint a bod

> "Duw yn llon'd pob lle,
> Presennol ymhob màn,"

a bod ymhob lle amlygiadau o fodolaeth, gweithrediad, a gogoniant Duw, y mae yr holl greadigaeth mewn gwirionedd yn breswylfa i Dduw. Y mae y greadigaeth yn eang ac yn amrywiol iawn hefyd; y mae ynddi "lawer"—llïosogrwydd mawr o fydoedd gwahanol. Ac heblaw hyny, gellir dangos hefyd fod y golygiad hwn yn rhoddi ystyr i'r ymadrodd a'r frawddeg dan sylw sydd yn eu dangos yn gyfaddas i effeithio yr amcan oedd gan Iesu Grist mewn golwg pan yn eu llefaru. Yr amcan hwnw, y mae yn amlwg, ydyw cysuro ei ddysgyblion yn eu trallod o herwydd, yn benaf, ei fod efe wedi hysbysu iddynt ei fod yn myned i'w gadael, a hyny yn fuan. 'Na thralloder eich calon o herwydd fy mod yn myned i'ch gadael; y mae y ddaear hon, yn yr hon yr wyf yn eich gadael, yn un o drigfanau "tŷ fy Nhad;" trigfan arall yn y tŷ yw y nefoedd, lle yr wyf fi yn awr yn myned; ac felly, er fy mod yn myned i'ch gadael, nid wyf yn myned ond megys i ystafell arall yn y tŷ ag yr ydych chwi a minnau yn awr ynddo; ac mewn canlyniad, ar ol fy ymadawiad, er na byddwn yn yr un ystafell, yn ngolwg a chymdeithas ein gilydd fel yr ydym yn awr, byddwn o dan yr un gronglwyd, yn yr un tŷ, a'r tŷ hwnw yn "dŷ fy Nhad"—"fy Nhad i a'ch Tad chwithau."' Y mae yn amlwg os deallwyd y frawddeg dan sylw yn yr ystyr yma gan y dysgyblion, ac os bu iddynt i ryw raddau sylweddoli y gwirionedd gogoneddus y mae yr ystyr hwn yn ei gynnwys, ei bod yn gyfaddas i liniaru ychydig ar eu trallod.

2. Ond a ydyw yn debygol fod y dysgyblion wedi deall yr ymadrodd, "tŷ fy Nhad," yn yr ystyr hwn?

Y mae yn rhaid cyfaddef, dybygem, nad yw y frawddeg, "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau," yn gosod allan yn uniongyrchol ac yn eglur yr ystyr a briodolir iddi gan y golygiad hwn. Y mae newydd-deb neu ddiweddarwch y golygiad yn ddadl yn ei erbyn. Hyd yr ydym ni wedi cael mantais i gasglu, nid oes ond ychydig o esbonwyr, a'r rhai hyny yn esbonwyr diweddar, wedi meddwl am dano a dadleu drosto. Ymddengys fod y Tadau Lladinaidd a Groegaidd yn unfrydol o blaid y golygiad arall. Gan fod yr eglwys wedi bod am ganrifoedd lawer heb briodoli

yr ystyr hwn i'r geiriau hyn, er myfyrio, siarad, ac ysgifenu llawer arnynt, a yw yn debygol y buasai y dysgyblion yn nyfnder eu trallod, pan wedi eu meddiannu yn llwyr gan y meddwl pruddaidd am ymadawiad yr Iesu, yn rhoddi iddynt yr ystyr hwn? Ac a ydyw yn debygol y buasai yr Iesu yn cyflwyno i sylw ei ddysgyblion ystyriaeth, gyda'r amcan o roddi cysur uniongyrchol iddynt, mewn geiriau nad yw yr eglwys hyd yn ddiweddar wedi gweled yr ystyriaeth hono ynddynt?

3. Ond pa beth sydd yn y geiriau yn peri eu bod yn fynegiad aneglur o'r ystyr a roddir iddynt gan y golygiad yr ydym yn dadleu yn ei erbyn?

Y mae dywedyd fod "*llawer* o drigfanau" yn nhŷ y Tad yn ffordd anuniongyrchol ac aneglur iawn o hysbysu fod y ddaear yn rhan o'r tŷ—yn *un* drigfan yn nhŷ y Tad. Os oedd yr Iesu yn bwriadu cysuro ei ddysgyblion â'r meddwl hwnw, onid yw yn debygol y buasai yn ei ddadgan yn llawer mwy eglur? Meddylier am fam yn myned i adael ei phlant mewn ystafell yn y tŷ, a hwythau yn gofidio ac yn cwyno o herwydd ei bod yn eu gadael, yn ewyllysio eu cysuro trwy roddi ar ddeall iddynt nad ydyw yn myned allan o'r tŷ, dim ond yn symud i ystafell arall ynddo, ac y byddent ar ol ei symudiad yn yr un tŷ a hi, ac yn mynegu hyny iddynt trwy ddywedyd wrthynt, Y mae llawer o ystafelloedd yn ein tŷ ni. Prin y gallesid dysgwyl i'r plant dderbyn trwy eiriau y fam yr ystyriaeth a fwriadai hi ei chyflwyno drwyddynt; ac y mae yn anghredadwy y buasai unrhyw fam ddeallgar a theimladol yn ceisio cysuro ei phlant mewn iaith mor amwys ac amgylchog. Ond os derbynir y golygiad dan sylw ar y geiriau, "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau," rhaid dywedyd fod yr Iesu, yr hwn bob amser a lefarai yn y modd mwyaf eglur, yn awr wrth geisio cysuro y rhai a alwai efe yn "blant bychain" (Ioan xiii. 33) yn eu trallod o herwydd iddo ddywedyd wrthynt, "Yr wyf yn myned ymaith" (adn. 28), yn dwyn i'w sylw ystyriaeth i'r amcan hwnw mewn geiriau yr un mor anghyfaddas, geiriau ag y mae yn dra annhebygol y buasai y dysgyblion yn ei chanfod ynddynt a'i sylweddoli drwyddynt. Buasai gwaith Iesu Grist yn dywedyd wrth Pedr, neu rywun arall o'r dysgyblion, "Y mae genyf fi lawer o wir ddysgyblion," gyda'r amcan o'i hysbysu ei fod ef yn un o'i wir ddysgyblion, mewn trefn i'w gysuro, yn ffordd aneglur iawn i wneuthur yr hysbysiad, ac mewn canlyniad yn ffordd aneffeithiol iawn i weinyddu cysur iddo; ac y mae yn amlwg fod ei waith yn dywedyd, "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau," yn ffordd yr un mor aneglur o hysbysu fod y ddaear yn un o drigfanau tŷ ei Dad, ac mewn canlyniad yn ffordd dra anghyfaddas i gysuro ei ddysgyblion â'r ystyriaeth sydd yn gynnwysedig yn yr hysbysiad tybiedig hwn; yr hyn sydd ynddo ei hun yn brawf cryf mai nid yr ystyriaeth hon a fwriadai Iesu Grist ei chyflwyno i sylw y dysgyblion trwy y geiriau dan sylw. Os dywedir fod y geiriau yn gosod allan fod llawer o fydoedd, a'r rhai hyny yn drigiannol, yn nghreadigaeth Duw, gellir gofyn, Pa gysur fuasai i'r dysgyblion glywed hyny yn eu trallod yn ngwyneb ymadawiad yr Iesu o'r ddaear i'r nefoedd?

4. Heblaw hyny, y mae y golygiad dan sylw yn anghyson â'r gair *trigfanau*. Ymddengys nad yw y gair o ba un y mae yn gyfieithiad (*monai*) i'w gael o gwbl yn y Testament Newydd oddieithr yn y bennod hon, lle y ceir ef ddwywaith, sef yn adn. 2 a'r 23. Golyga yn llythyrenol, *lleoedd i aros ynddynt.* Dywed rhai esbonwyr diweddar fod y gair yn cael ei ddefnyddio yn enw ar y "gorsafoedd" oedd ac sydd ar y prif-ffyrdd yn y dwyrain, ymha rai yr arosai teithwyr i gael bwyd a diod a gorphwysdra, a bod yr Iesu wrth ddefnyddio y gair yn adn. 2 yn cyfeirio at y lleoedd hyny. Yn ol yr eglurhâd hwn ar y gair, er ei fod yn golygu lleoedd i aros ynddynt, nid yw yn golygu ond lleoedd i aros ynddynt yn achlysurol a thros ychydig, ac nid i gartrefu yn wastadol ynddynt. Ond ymddengys i ni fod yr eglurhâd hwn ar y gair yn yr adnod hon wedi ei brofi yn anghywir. Mewn ysgrif yn yr *Expositor* am Mai, 1882, dangosir fod defnyddiad y gair yn ngweithiau clasurol yr awduron Paganaidd yn myned yn erbyn yr eglurhâd hwn arno; fod y Tadau eglwysig Groegaidd yn unfrydol yn priodoli i'r gair, yn eu hymdriniaeth â Ioan xiv. 2, yr ystyr, lleoedd i aros yn wastadol, i ymgartrefu ynddynt; fod y Tadau Eglwysig Lladinaidd, er mai cyfieithiad y *Vulgate* o'r gair ydyw *mansiones*, a bod y gair hwnw yn aml yn golygu "gorsafoedd," yn ymwrthod â'r ystyr hwn i'r gair yn yr adnod hon. Ymddengys yn bur glir nad oedd y gair a ddefnyddir yma, yn enwedig pan ysgrifenwyd yr efengyl, o gwbl yn cael ei ddefnyddio i ddynodi y gorsafoedd crybwylledig, ac mewn canlyniad nas gall fod ynddo, yn yr adnod hon, gyfeiriad atynt. Ac ymhellach, fel y dywed awdwr yr ysgrif gyfeiriedig ati uchod, y mae yr eglurhâd dan sylw ar y gair *trigfanau* yn dwyn i mewn i'r adnod gymysgedd cyffelybiaethau: y mae dywedyd fod yn yr ymadrodd, "Yn *nhŷ* fy Nhad y mae llawer o drigfanau" gyfeiriad at y gorsafoedd ar y *prif-ffyrdd* yn annaturiol i'r eithaf. Ac y mae

yr eglurhâd hwn ar y gair hefyd yn anghyson â'r defnydd a wneir o hono yn adnod 23, yr unig le arall y ceir ef yn y Testament Newydd. Amlwg yw ei fod yno yn golygu arosiad gwastadol, maith, a thragywyddol yr Iesu a'i Dad gyda'r dysgyblion.

Yn awr, gan mai nid ystyr y gair *trigfanau* ydyw lleoedd i aros ac i orphwyso ynddynt dros ychydig, megys pan ar daith, ond i aros yn barhâus ac ymgartrefu ynddynt, y mae yn amlwg fod y gair hwn yn milwrio yn erbyn y golygiad mai yr holl greadigaeth a olygir wrth "dŷ fy Nhad," yn ol yr hwn y mae yr Iesu yn amcanu gosod allan fod y ddaear yn un o drigfanau tŷ ei Dad. Yn ol iaith a dysgeidiaeth y Bibl, nid lle i aros yn hir ac i orphwyso ynddo yw y ddaear. Y mae bywyd dyn, yn enwedig bywyd plentyn Duw ar y ddaear, yn cael ei gyffelybu i ymdaith, i breswyliad mewn pebyll. "Daearol dŷ o'r babell hon" (2 Cor. v. 1) ydyw y corff ag y mae y cristion yn ei breswylio yn y byd hwn. Teimla y saint "mai dyeithriaid a phererinion ydynt ar y ddaear" (Heb. xi. 13 a'r cyfeiriadau), a'u bod "oddicartref" tra yn y byd hwn (2 Cor. v. 6). Nid oes neb o blant Duw yn ystyried y ddaear yn *drigfan;* ar eu ffordd gartref y maent yma, yn cyfanneddu mewn pebyll hyd nes cyrhaedd i balas eu Tad. Y mae yn wir y dywedir yn y cyfieithiad Cymreig o'r Testament Newydd, am Iesu Grist mewn cyfeiriad at ei fywyd ar y ddaear "Efe a *drigodd* yn ein plith ni" (Ioan i. 14); ond y cyfieithiad llythyrenol a chywir ydyw, "Efe a babellodd," neu a dabernaclodd "yn ein plith ni." Nid oedd y ddaear yn *drigfan* i'r Iesu; pabell neu dabernacl iddo aros ynddo dros ychydig ydoedd. A chan mai felly y portreiadir y ddaear yn y Bibl, ac mai lle felly ydyw mewn gwirionedd, amlwg yw nad yw yn briodol ei hystyried, ac na buasai yr Iesu yn ei hystyried, yn un o *drigfanau* tŷ ei Dad. Y mae y golygiad mai yr holl greadigaeth a olygir wrth "dŷ fy Nhad," yn anghyson âg ystyr fanwl a gwirioneddol y gair *trigfanau.*

Yr ydym yn awr wedi ceisio dangos, er y *gall* yr ymadrodd "tŷ fy Nhad" gyda phriodoldeb olygu yr holl greadigaeth, ac er bod yr ystyriaeth sydd yn gynnwysedig yn y geiriau, "Yn nhŷ fy Nad y mae llawer o drigfanau," yn ol y golygiad yma, yn cyttuno âg amcan yr Iesu pan yn llefaru, nad yw yr ystyriaeth hono i'w gweled yn eglur yn ngeiriau yr Iesu, ac, erbyn ystyried, ei bod i raddau helaeth yn anghyson â hwynt.

*(I barhâu.)*

IOAN DAVIES.

*Barrow in Furness.*

---

# Barddoniaeth.

"LLAIS YR IESU."

Ysgrifenwyd ar ol clywed y Parch. D. Lloyd Jones yn pregethu ar "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn."

LLAIS yr Iesu, O mor swynol!
  Dynodd fyrdd a myrdd cyn hyn
O rai pell, a gwnaeth hwy 'n agos;
  Golchwyd hwy fel eira 'n wŷn:
Rhai fu 'n erlid ac yn gwatwar,
  Ef a'u tynodd yn gyttun,
Ac fel ŵyn o fewn y gorlan,
  Ef a'u casglodd ato ei Hun.

Llais yr Iesu, O mor swynol!
  Tawdd yn llyn y galon fu
Yn caledu yn ei erbyn,
  Ac a'i dwg o'r anial du;
O hyn allan dilyn Iesu
  I Baradwys a wna hon;
Llais yr Iesu dŷna ato
  Lu i'r nef o'r ddaear gron.

Llais yr Iesu, O mor swynol!
  "Deuwch," meddai, "ataf fi,
Rai sychedig a newynog,
  A thrwmlwythog, deuwch chwi;
Dwfr sydd genyf i'r sychedig,
  Bara i'r newynog rai,
Esmwythâf y rhai trwmlwythog,
  A maddeuaf bob rhyw fai."

Llais yr Iesu yn y storom
  A ostega dônau 'r môr;
Gwna i'r gwynt dawelu 'n hollol
  Wrth ei air, fy Arglwydd Iôr.
Pan y daw tymhestloedd atom,
  Yn eu nerth a'u cryfder hwy,
Llais yr Iesu a'u try 'n dawel,—
  Wrtho EF gobeithiaf mwy.

Llais yr Iesu, pan yn nghanol
  Rhyw demtasiwn,—dywed ef,
Gwna wrthsefyll, ti orchfygi,
  Tro i'r ffordd sydd tua'r nef:
Llais yr Iesu wna i'r galon
  Ofnus deimlo hedd a nerth,
Cynnal wna yr ysbryd egwan,
  Dysg i ddringo 'r creigiau serth.

Llais yr Iesu, O mor swynol!
  Fe fu llawer yn y byd
A'u lleferydd yn effeithiol
  Hyd nes denu llawer bryd;
Ond diflana effeithiolrwydd
  Pob rhyw lais yn ymyl hwn,
Sydd yn galw pechaduriaid
  I roi arno Ef eu pwn.

Llais yr Iesu eilw eto
  Filoedd at y groes i fyw;
Rhai sy bell a rhai sy agos,—
  Geilw 'r pagan du ei liw;
Llais yr Iesu! O fy enaid
  Clyw mor rasol mae efe
Yn dy alw *di* i'w ganlyn,
  Ac i rodio llwybrau 'r ne'.

SARAH E. MORRIS *(Olwen)*.

*Portmadoc.*

---

## CEFNFOR CARIAD.

PAN oeddwn â'm golwg yn brudd,
  Yn dysgwyl am lanw y môr,
Yn edrych am doriad y dydd,
  Cawn brofi trugaredd yr Iôr;
Ar draethell hen amser yn drist,
  Lle treuliais foreuddydd fy oes,
Heb gael iachawdwriaeth yn Nghrist,
  A bywyd trwy Aberth y Groes.

Bryd hyny y llanw a ddaeth,
  A minnau yn bruddaidd fy mron,
Cymerwyd y llong ar y traeth
  I farchog dros wyneb y dòn;
Mor felus yw meddwl yn awr
  Fod Cariad tragwyddol yn bod,
A garodd bechadur mor fawr
  Na haeddodd ei garu erioed!

Troseddais lân ddeddfau fy Nuw,
  Do, crwydrais ymysg y rhai ffol,
Nes ofni na byddwn i byw—
  Na ddeuwn i byth yn fy ol.
Beth dalaf, O Gariad, i ti
  Am godi fy enaid o'r llaid?
Mi ganaf ar wyneb y lli',
  Clodforaf dy enw 'n ddibaid.

Ac er fod y dymhestl yn gref,
  Mi hwyliaf, mi nofiaf yn llon,
A'm gobaith yn gryf ynddo Ef
  Fu gynt yn marchogaeth y dòn;
Hen greigiau serth pechod a phoen
  Ddiflanant o'm golwg cyn hir;
Caf weled gogoniant yr Oen,
  A Dwyfol brydferthwch y tir.

Trwy ffydd 'r wyf yn gweled y lle
  Wnaed imi cyn seiliad y byd;
Mor hyfryd fydd byw yn y ne',
  Yn nghwmni yr Iesu o hyd!
Bydd miwsig fy nhelyn a'm cân
  Yn swyno y nefoedd yn fwy
Nag eiddo yr angel pur glân,
  Nad ŵyr am iachâd o un clwy'.

Mae yno gyfeillion yn byw,
  Rai anwyl, a aethant o'm blaen,
A olchwyd, a gadwyd gan Dduw,
  Yr hyn fydd byth-destun eu cân:
Yn dysgwyl am danaf maent hwy,
  Er mwyn im' gael cyfran o'r wledd;
Mae yno i'm haros byth mwy
  Orphwysfa o burdeb a hedd.

H. THOMAS.

*Hawen, Rhydlewis.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

### YSWIRIANT CAPELAU.

MR. GOLYGYDD,—Fe allai y byddai yn dda gan amryw o ddarllenwyr y DRYSORFA, gael gweled cyfrifon y Cwmni Yswiriol sydd gan y Methodistiaid Wesleyaidd i'r amcan uchod. Wele gopi o honynt am y flwyddyn yn terfynu Gorph. 15ed, 1882.

*Accounts of the Wesleyan Methodist Trust Assurance Co., Limited, for the year ending July 15th, 1882.*

#### REVENUE ACCOUNT.

| DR. | £ | s. | d. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| To Premiums after deducting Re-Insurances | | | | 8,936 | 14 | 8 |
| | | | | £3,936 | 14 | 8 |
| CR. | | | | | | |
| By Fire Losses, less Re-Insurances | | | | 2,002 | 15 | 1 |
| " Commission | | | | 122 | 18 | 11 |
| " Expenses of Management:— | | | | | | |
| Auditor's Account | 5 | 5 | 0 | | | |
| Advertising | 13 | 19 | 0 | | | |
| Postage, Carriage, &c. | 37 | 19 | 10 | | | |
| Printing & Stationery | 31 | 5 | 4 | | | |
| Rent, Taxes, and Office Expenses | 182 | 11 | 4 | | | |
| Travelling | 24 | 14 | 9 | | | |
| Salaries | 350 | 0 | 0 | | | |
| | | | | 645 | 15 | 8 |
| " Balance carried to Profit and Loss | | | | 1,165 | 5 | 0 |
| | | | | £3,936 | 14 | 8 |

#### PROFIT AND LOSS ACCOUNT.

| DR. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| To Balance from last year's Account | 245 | 5 | 9 |
| " " of Revenue Account | 1,165 | 5 | 0 |
| " Interest | 536 | 17 | 8 |
| " Transfer Registration Fees | 0 | 7 | 6 |
| | £1,947 | 15 | 11 |
| CR. | | | |
| By Shareholders' Interest to July 31st, 1881 | 62 | 10 | 0 |
| " Grant to Worn-out Ministers' Fund, sanctioned at last Annual Meeting | 100 | 0 | 0 |
| " Income Tax | 54 | 1 | 7 |
| " Amount transferred to Reserve Fund | 1,500 | 0 | 0 |
| " Furniture Account for Depreciation | 50 | 0 | 0 |
| " Balance | 181 | 4 | 4 |
| | £1,947 | 15 | 11 |

#### BALANCE SHEET, JULY 15TH, 1882.

| DR. LIABILITIES. | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| To Shareholders' Capital paid-up, being call of 10s. per Share, on 2,500 Shares | 1,250 | 0 | 0 |
| *(Subscribed Capital, £25,000)* | | | |
| " Reserve Fund, viz:— As per last Account.. £12,500; Amount now added .. 1,500 | 14,000 | 0 | 0 |
| " Profit and Loss | 181 | 4 | 4 |
| " Outstanding Accounts | 20 | 0 | 0 |
| | £15,451 | 4 | 4 |

| CR. ASSETS. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|
| By Investments, viz.:— | | | | |
| Mortgages ............2,600 0 0 | | | | |
| Loans to Trustees of Wesleyan Chapels, &c.....5,005 0 0 | | | | |
| Railway Stock, Preference and Ordinary ..6,390 5 9 | | | | |
| | 13,995 | 5 | 8 | |
| " Office Furniture ............... | | 85 | 14 | 10 |
| " Interest accrued but not due .... | | 76 | 13 | 7 |
| " " due but not paid ........ | | 22 | 10 | 0 |
| " Premiums in course of collection. | | 69 | 11 | 3 |
| " Cash in Bank.................... | | 1,201 | 8 | 11 |
| | | £15,451 | 4 | 4 |

Yr oedd y colledion am y flwyddyn (£2002 15s. 1c.) uwchlaw y cyfartaledd. Talwyd dros £1800, mewn canlyniad i ddinystr llwyr tŷ y gweinidog yn Aldershot, a'r tân a gymerodd le yn y "*Children's Home*," Milton, Gravesend, fel nad oedd y colledion oddiwrth y capelau, &c., ond tua £200, sef ychydig dros £5 y cant ar y *premiums*.—Yr eiddoch, &c.,

H.

METHODISTIAETH GALFINAIDD YN PATAGONIA.

SYR,—Yr ydym newydd dderbyn llythyr maith a dyddorol dros ben oddiwrth y Parch. W. Williams, dyddiedig, Derwyddfa, Reo Chubut, Mawrth 13, 1883. A chan y gwyddom y bydd ei gynnwys yn dderbyniol gan filoedd, yr wyf yn anfon dyfyniadau o hono i'r DRYSORFA.

Ar ol rhoddi hanes yr helynt ynglŷn â'r prwyadur hogynaidd a ffol a fu yno—carchariad Lewis Jones a Berwyn, a'u rhyddhâd, a'u llwyddiant i gael hunan-lywodraeth i'r sefydliad,—y cynauaf digyffelyb a gawsant, chwe' mil o erwau o wenith ardderchog, a'r parotoi i hau o ddeuddeg i ugain mil erbyn y cynauaf nesaf—y prinder mawr a'r galw am weithwyr yno—y darganfyddiadau diweddar o haiarn, copr, ac AUR yn eu cymydogaeth—y gall dyn wneyd o ddeg i bymtheg swllt y dydd wrth yr aur, ac o dair gwythen o lô o'r fath oreu, un yn dair troedfedd, un yn bedair, a'r llall yn bymtheg—y manteision digyffelyb sydd yno, a'r sicrwydd sydd bellach yn hawlio o hyn allan sylw ein cenedl——yr anghenrheidrwydd o sefydlu yn Man sanas (gwlad yr afalau), "Paradwys Patagonia," ar yr Afon Ddu, efe a ddywed am ansawdd Fethodistaidd y Wladfa,—

"Mwy o gynnydd sydd yn ein lloni na dim arall. Y mae genym ddau o gapeli priddfeini da yn cael eu hadeiladu yn awr: un yn y Cefngwŷn, cychwynfa yr achos Methodistaidd, a'r llall yn y Bryngwŷn, deng milldir yn uwch i fyny. Gall dau gant eistedd yn dawel ynddynt. Yr ydym yn prysur orphen capel arall yn y dyffryn, a chychwynir achos arall ddeng milldir hwnt i'r uchaf sydd genym yn awr. Y mae Methodistiaeth yn gryf iawn ymhen uchaf y sefydliad. Cynnulleidfa Fethodistaidd yw y lluosocaf yn yr holl sefydliad. Bwriadwn gael cyfarfod pregethu yno y Pasg. Gwnawn ddefnydd o rai o'n dynion ieuainc sydd yma i gynnorthwyo yr achos goreu y medrwn. Y mae un o honynt yn dechreu pregethu. Y drwg a'r diffyg ydyw nad ydyw yr eglwysi ar hyn o bryd mewn ffordd i allu digolledu dynion, fel y gallont roddi rhan o'u hamser; ond gwellhâ pethau cyn hir."

Diau nad yw y dydd ymhell pan fydd cymydogaethau cyfain yn codi fel un gŵr tuag yno. Un teimlad wedi meddiannu Cymry y byd, sef "awn a meddiannwn y wlad." Gall mai bwriad Rhagluniaeth yw adeiladu cenedl fawr o weddillion gwasgaredig yr hen Frythoniaid; ac nid yn unig hyny, ond eu gwneuthur yn offeryn i efengyleiddio Cyfandir mawr tywyll Deheudir America.

J. R. EVANS *(Ioan o Fynyw)*.

CYMYNRODDION HAELIONUS.

MR. GOLYGYDD,—Caniatewch i ni ddyfynu o'r *New York Observer* am Chwefror 22, a Mawrth 1af y flwyddyn hon, neu adrodd yr hyn a gronicla am gymynroddion haelionus at Achosion Da:—Samuel Willet, Crynwr, a adawodd yn agos i £100,000 at wahanol sefydliadau dyngarol ac athrofäol, heblaw £20,000 i'r tlodion. Y Prif Farnwr Joel Parker, o New Hampshire, a adawodd £10,000 i ddyfod oddiwrth ei ymddiriedolwyr fel y rhodd gyntaf tuag at Ysgol Gyfreithiol yn Ngoleg Dartmouth. George F. Wilson, o Providence, a adawodd £20,000 i Brifysgol Brown, a £10,000 at Broffeswriaeth yn Ngoleg Dartmouth. W. E. Dodge, o New York, a adawodd uwchlaw £70,000; a'r diweddar Lywydd Morgan £160,000 at Genadaethau, at addysg, ac at amcanion elusengar eraill, ac ymhlith eraill, £40.000 i'r *Union University*. Gyda golwg ar Willet, Dodge, a Morgan, dywed yr *Observer*:—"Dyma dri o ddynion da gyda theuluoedd a chyfeillion, y rhai ydynt wedi darpar yn dda yn eu hewyllysiau, a chyda hyny cymynroddion hardd yn cael eu rhoddi at wahanol sefydliadau elusengar, teilwng o gefnogaeth, yr hyn fydd yn bytholi eu henwau fel cymwynaswyr defnyddiol hyd ddiwedd amser. Haelioni yn ymestyn tu hwnt i'r bedd yw hyn. Dyma beth yw gwneyd buddsoddiad *(investment)* parhäol, yn troi elw helaeth, dros amser nas anghofir."

Fod gan ddyn hawl i wneyd fel y gwelo yn oreu â'i eiddo ei hun, sydd beth nad oes neb yn ei ammheu. Ond a chaniatâu fod yn ddyledswydd ar ŵr cyfoethog adael eiddo i'w berthynasau, y mae ystyriaeth uchel o gysegredigrwydd ynghylch yr hyn, ar ol cyflawni hyny, a ddylai roddi i Dduw, eiddo yr hwn yw y cyfan. "Yr hwn sydd yn rhoddi i'r tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd." I'w Ragluniaeth Ef y mae'r cyfoethog yn ddyledus am yr oll a fedd. A phan y byddo dyn wedi casglu cyfoeth trwy foddion gonest, un o'i ddyledswyddau pwysicaf ydyw cyfranu yn y cyfryw fodd fel y byddo yn ychwanegu at swm y mwynhâd dynol, ac yn gwneyd y daioni mwyaf i'w gydgreaduriaid. Darfu i'r Llywydd Morgan, meddir, gyfranu rhai symiau mawrion cyn ei farwolaeth, ac amlygodd ef ofid tost na buasai wedi dechre yn gynt, fel y cawsai y pleser yr oedd yn ei brofi wrth wneyd. Byddai yn dda i bob dyn sydd wedi llwyddo yn y byd deimlo nad yw ond goruchwyliwr i ofalu am arian ei Arglwydd, ac y bydd raid rhoddi cyfrif am yr oll a gafodd.

R. LL.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA LLANFYLLIN.

EBRILL 16, 17, A'R 18FED, 1883.

LLYWYDD,—Y Parchedig J. WILLIAMS, Rhyl.

DYDD LLUN, EBRILL 16EG.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch y prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

*O Leyn ac Eifionydd:*—(1) Fod Mr. David Jones, Tŷ Mawr, wedi ei ddewis i'w ordeinio y flwyddyn hon.—(2) Fod Mr. John Owen, Paris House, Portmadoc, wedi ei ddewis yn aelod o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol am y tair blynedd nesaf.—(3) Fod dymuniad am i'r Gymdeithasfa roddi llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. Morris Roberts, Pwllheli, ar ei ymweliad âg America.—D. ROBERTS, *Ysgrifenydd.*

*O Arfon:*—1. Y mae y brodyr canlynol wedi cael eu dewis gydag unfrydedd i'w hordeinio:—Mr. Richard Robert Morris, Caernarfon, a Mr. Samuel T. Jones, Llanfairfechan.—2. Y mae Mr. T. Lewis wedi ei ddewis am dair blynedd yn aelod o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.—T. GWYNEDD ROBERTS, *Ysg.*

*O Ddyffryn Conwy:*—Y mae Mr. Thomas Parry, Colwyn Bay, wedi ei ddewis yn rheolaidd i'w ordeinio i waith y weinidogaeth.—J. WILLIAMS, *Ysg.*

*O Ddyffryn Clwyd:*—Dewiswyd Mri. Robert Ambrose Jones, Abergele, David Jones, Llanrhaiadr, a J. C. Jones, Rhyl, i'w hordeinio.—B. HUGHES, *Ysgrifenydd.*

*O Sir Fflint:*—Yn Nghyfarfod Misol Mynydd Isa, a gynnaliwyd Chwefror 26, caniatäwyd i eglwys Gymreig Caerlleon werthu rhan o dir cysylltiedig â'r capel, os caniatâ y Gymdeithasfa. Yn Nghyfarfod Misol Adwy'r Clawdd, Ebrill 2, dewiswyd Mr. John Morris, Gronant, Sir Fflint, i'w ordeinio.—J. JONES, *Ysgrifenydd.*

*O Orllewin Meirionydd:*—Ein bod yn dymuno awgrymu y priodoldeb fod Pwyllgor y Llyfrau perthynol i'r Gymanfa Gyffredinol yn trefnu gyda'r cyhoeddydd i anfon sypynau y ddwy DRYSORFA yn uniongyrchol o Dreffynnon i bob man gyda'r *Parcels Post.*—R. OWEN, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Trefaldwyn Isaf:*—Y mae Mr. Ebenezer J. Williams, Llanwyddyn, wedi ei ddewis yn rheolaidd i'w ordeinio y flwyddyn hon.—D. PIERCE, *Ysgrifenydd.*

*O Henaduriaeth Lancashire:*—Y mae Mr. John Ernest Jones wedi ei ddewis i'w ordeinio.—E. JERMAN, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Llundain:*—

Llundain, Ebrill 4ydd, 1883.

*At Gymanfa y Trefnyddion Calfinaidd yn Llanfyllin.*

ANWYL FRODYR A THADAU,—Derbyniasom eich cenadwri o Gymanfa Rhyl yn mherthynas i'r achos rhyngom fel Cyfarfod Misol âg eglwys Nassau Street; ac yr ydym yn parhâu i ystyried ein bod yn gweithredu yn hollol yn ol eich dyfarniad yn Mangor wrth ddysgwyl i'r eglwys yno fod dan y cyfrifoldeb o'r ddyled oedd yn sefyll ar y *Building Fund* wrth dderbyn yr eiddo yno er budd iddi ei hun. Y mae y ffeithiau canlynol, a goffawyd yn Nghymanfa Bangor, yn cadarnhâu ein crediniaeth: hysbyswyd yno fod oddeutu £650 o ddyled yn aros ar yr eiddo yn Nassau Street; hefyd y gallai fod yr eiddo yno yn werth tua £1500; fod yr eglwys yn Nassau Street eisoes wedi cynnyg talu i'r Cyfarfod Misol £700, a hefyd ein bod fel Cyfarfod Misol wedi cynnyg yr eiddo iddynt am fil o bunnau; a darfu y Gymanfa wrth ddyfarnu fod eglwys Nassau Street i dalu £850 i'r Cyfarfod Misol, hanneru y swm rhwng yr hyn a ofynai y Cyfarfod Misol a'r hyn a gynnygiai eglwys Nassau Street; ac yr oedd y ddwy blaid yn derbyn hyny yn foddlonol. Y cwestiwn sydd wedi codi yn awr yw, Pwy sydd yn gyfrifol am y £650 o ddyled oedd ar y *Fund?* oblegid pan ddaeth un o'r gofynwyr ymlaen i ofyn am £460 0s. 9c. i fyny, gwrthododd Trysorydd y *Fund* eu talu, a chyfeiriodd ef at y Cyfarfod Misol am danynt, ac y mae y swm hwn yn aros heb ei dalu o hyd. Y mae hyn yn achos o gŵyn yn ein herbyn, ac yn debyg o godi anhawsder ar ein ffordd i gael arian ar lôg pe byddai anghen arnom am hyny, ac yn debyg o'n dwyn i warth fel enwad crefyddol. Gyda golwg ar y ddyled oedd yn aros ar gapel Poplar, yr hyn, ar gais y Trysorydd, a ychwanegwyd at y rhyddhâd a roddwyd i eglwys Nassau Street, nid oedd gair o sôn wedi bod am dani yn Nghymanfa Bangor; ac y mae eglwys Poplar yn ymgymeryd â hi, ac nid oedd neb wedi dal Trysorydd Nassau Street yn gyfrifol am dani; a dengys ei gyfrifon mai £172 17s. 11c. ydoedd yn 1880. Yr unig gysylltiad rhwng y ddyled hon â Nassau Street oedd mai yr un Trysorydd oedd yn cadw y cyfrifon, ond nid oedd erioed wedi ffurfio rhan o'r *Building Fund.* Wrth ofyn am benodiad Pwyllgor o frodyr i ystyried a phenderfynu yr achos dyrys ac annymunol sydd rhyngom, yr oedd y Cyfarfod Misol yn dymuno osgoi y teimlad o bartïaeth allai yn naturiol godi yn ein plith ni yma, gan fod ein cysylltiadau y fath ag i ni deimlo yn bersonol yn yr achos; a byddai appwyntiad brodyr annibynol eu teimlad ac uniawn eu barn yn foddion i symud y peth o'r tir y mae yn awr arno; a gofynwn yn ostyngedig unwaith eto am benderfyniad ar y cwestiwn, "Pwy sydd yn gyfrifol am y ddyled o £650 sydd yn aros ar y *Building Fund,* pa un ai y Cyfarfod Misol neu eglwys Nassau

Street ?"—Ydwyf, anwyl Frodyr, yr eiddoch, ar ran y Cyfarfod Misol, JOHN W. JONES, *Ysgrifenydd.*

Llythyr o Eglwys Nassau Street y cafwyd caniatâd i'w gyflwyno:—

Nassau Street Church,
Ebrill 12, 1883.

*At Gymanfa y Trefnyddion Calfinaidd yn Llanfyllin.*

ANWYL FRODYR,—Drwg genym fod dan orfod i gymeryd rhan o'ch amsergwerth fawr i sylwi ar bethau gofidus a godir gan nifer fechan o aelodau ein Cwrdd Misol; ond amcanwn beidio eich blino â meithder. 1. Pan y telir y ddyled sydd yn aros ar y tŷ dan sylw, bydd wedi costio i eglwys Nassau Street tua £2899 18s. 3c., yr hwn dŷ nad yw ei werth ond tua £1200 i £1400. 2. I'n tyb ni nid yw ond megys chware plant fod ein Cwrdd Misol yn parhâu i aflonyddu ar ein Cymanfaoedd parchus ar ol i ni gario allan yn anrhydeddus yr hyn a nodwyd i ni yn Nghymanfa Bangor, 1880. 3. Dymunem yn ddifrifol hysbysu mai ein penderfyniad yw sefyll neu syrthio yn wyneb y *receipt* sydd genym oddiwrth ein Cwrdd Misol, yr hon *receipt* a fu am bythefnos yn llaw ein Cwrdd Misol, yr hon ar ol ei llawnodi a gyfnewidiwyd am yr arian, £850, ac wele ni yn anfon copi o'r rhan olaf o honi fel y caffoch farnu. —Ydym, Anwyl Frodyr, dros ac ar gais Eglwys Nassau Street, yr eiddoch yn ddiffuant, MORGAN JONES, THOMAS RICHARDS, BENJAMIN DAVIES, RICHARD WILLIAMS, WILLIAM DAVIES, WILLIAM EDWARDS.

*Copi o'r rhan olaf o'r Receipt.*

**£850.**

Which sum is paid in final settlement of the claims of Building Fund in respect of the property connected with Nassau Street Chapel, and the Monthly Meeting hereby further releases the said Church from any responsibility in respect of the debt remaining on Poplar Chapel.

| |
|---|
| 2/1/81 |
| £850 |

W. PRYDDERCH WILLIAMS,
* Chairman of the Monthly Meeting.

*Ac yn llawysgrif Mr. J. W. Jones y ceir y llinell hon.

*O Gynnadledd yr Achosion Seisonig a gynnaliwyd yn Mangor,* Mawrth 28ain, derbyniwyd y penderfyniadau canlynol gyda dymuniad ar i'r Gymdeithasfa eu cadarnhâu:—

In the Morning Conference, Mr. J. Roberts, M.P., presiding, *Resolved*—That the existing English Cause Committee in the several counties, together with a representative of every English Church in the county, and the General Secretary of the English Causes Fund, shall be a committee in each county to assist the Elders of English Churches in securing efficient pulpit supplies.—In the Afternoon Conference, Mr. R. Davies, M.P., presiding, *Resolved:*—(1) That the Secretary of this Conference write to the Secretary of each Monthly Meeting having the supervision of English Churches, enclosing a copy of the above resolution and requesting him to see that it is put into effect. (2) That a Conference of the English Churches of North Wales be held annually—the next Conference to be held at Denbigh, at a time to be fixed by the Committee appointed at this Conference.—O. EDWARDS, *Secretary.*

III. Penderfynwyd fod enwau y brodyr Mr. John Owen, Portmadoc, a Mr. Thomas Lewis, Bangor, i gael eu cyflwyno i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa fel aelodau o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol, ac enw y Parch. Lewis Ellis yr un modd fel aelod o Gyfeisteddfod yr Athrofa.

IV. Penderfynwyd rhoddi caniatâd i werthu tir perthynol i'r Cyfundeb yn Nghaerlleon.

V. Penderfynwyd fod llythyrau cymeradwyaeth yn cael eu rhoddi i'r brodyr yn y weinidogaeth, y Parch. Morris Roberts, Pwllheli, a'r Parch. O. T. Williams, Dolgellau, ar eu hymweliad âg America; a'n bod yn dymuno ar i'r Parch. D. Saunders gynnrychioli Cymdeithasfa y Gogledd yn gystal a Chymdeithasfa y Deheudir yn Nghymanfaoedd y Methodistiaid yn yr Unol Daleithiau yn ystod ei ymweliad â hwy y flwyddyn hon.

VI. Dygwyd ger bron enwau y brodyr yr oedd y gwahanol Gyfarfodydd Misol wedi eu galw i'w hordeinio; a chaed tystiolaethau o berthynas iddynt gan y cynnrychiolwyr. Cafwyd eu bod oll wedi eu dewis trwy fwyafrif digonol o bleidleisiau yr eglwysi, a bod eu gweinidogaeth a'u llafur yn dderbyniol a chymeradwy yn y cylchoedd yr oeddynt yn fwyaf adnabyddus ynddynt. Cafwyd ymddyddan maith o berthynas i'r brawd y methwyd cael boddlonrwydd yn ei atebion tua dwy flynedd yn ol, a'r un yr oedd Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd yn awr yn ei gyflwyno yr ail waith i'r Gymdeithasfa i'w ordeinio. Sicrhâi y cynnrychiolwyr o Ddyffryn Clwyd nad oeddynt yn golygu fod y Gymdeithasfa wedi gwneyd cam â Mr. Robert Ambrose Jones yn Llanidloes; ond yr oedd dwy flynedd bron wedi myned heibio er Cymdeithasfa Llanidloes, a'r brawd ieuanc, oddieithr mewn rhyw un amgylchiad, wedi ymddwyn er yr amser hwnw yn ddiddolur i'w frodyr, a'i wasanaeth yn ennill cymeradwyaeth eglwysi Sir Ddinbych. Nid oeddid wedi cael un dadganiad o'i enau ef ei hun, yn amlygu ei fod wedi newid ei olygiadau, ond ystyrid y ffaith ei fod wedi dyfod i'r Gymdeithasfa hon yn rhoi lle i gredu ei fod yn bwriadu cydffurfio â'n rheolau fel Cyfundeb. Yr oedd hyn yn flaenorol i ymddyddan personol oedd i fod gyda'r brodyr yn y cyfarfod dilynol.

VII. Galwyd sylw at benderfyniadau Cynnadledd yr Achosion Seisonig, yr hon a gynnaliwyd yn Mangor y mis diweddaf. Wedi peth ymddyddan, penderfynwyd fod y Gymdeithasfa i'w cadarnhâu.

VIII. Rhoddwyd ystyriaeth i'r genadwri a ddaethai o Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd o berthynas i anfon y ddwy DRYSORFA gyda'r *Parcels Post* i'r ardaloedd yn uniongyrchol o'r swyddfa. Cydolygwyd ei bod i gael ei chyfeirio i Bwyllgor y Llyfrau yn y Gymanfa Gyffredinol; a bod Mr. Thomas Lewis, yn y cyfamser, i wneyd ymofyniad â Meistri P. M. Evans and Son a ellir, yn unol â'r cyttundeb presennol â hwy, wneyd y cyfnewidiad a ofynir yn y genadwri hon, a pha ychwanegiad yn nhraul dosbarthiad y Cyhoeddiadau barai dwyn oddiamgylch y cyfryw gyfnewidiad.

IX. Hysbyswyd fod llythyrau wedi eu derbyn oddiwrth y Prif Weinidog, yr Ysgrifenydd Cartrefol, ac amryw o'r Aelodau Seneddol dros Ogledd Cymru, mewn atebiad i'r Gofeb a anfonwyd at y Llywodraeth o'r Gymdeithasfa ddiweddaf yn Rhyl. Yr oedd y llythyr oddiwrth y Prif Weinidog fel y canlyn :—

"10, Downing-street, Whitehall,
March 22, 1883.

"REV. SIR,—

"I beg to inform you that Mr. Gladstone has received the Resolutions passed at the last Quarterly Association of the Calvinistic Methodists of North Wales, and that he is obliged to you for forwarding them to him. He is glad to hear that the operation of the Sunday Closing Act for Wales is appreciated, and he begs to thank you for the good wishes conveyed in your letter. As regards an amendment of the Licensing Laws generally, I am directed to assure you that it is not from want of appreciating the importance of the subject, but owing to the difficulties which attend legislative work in Parliament, and the many claims upon it, that no proposal dealing with this question has yet been made by the Government,—I am, Rev. Sir, your obedient servant,

E. W. HAMILTON."

"The Rev. Dr. Thomas."

X. Dywedodd y Parch. Daniel Rowlands fod y Pwyllgor ar ad-drefniad cyfarfodydd y Gymdeithasfa, yr hwn a benodwyd yn y Gymdeithasfa ddiweddaf yn Rhyl, wedi cyfarfod y dydd Iau blaenorol yn Nghonwy, ac wedi cael ymddyddan maith a buddiol ar y mater a ymddiriedasid i'w gofal. Nid oeddynt wedi dizgyn ar unrhyw gynnygion i'w dwyn ger bron y Gymdeithasfa, er yr hyderid y byddai eu cydgyfarfyddiad yn fanteisiol erbyn y cyfarfodydd a geir eto; a phenderfynwyd fod y cyfarfod yn cael ei ohirio hyd ddydd Mercher, Mai 9fed, i gyfarfod y pryd hyny am ddeuddeg o'r gloch yn Rhyl.

XI. Hysbyswyd gan yr Ysgrifenydd am yr hyn a wnaed gan y Pwyllgor a benodwyd i ymofyn am ddau gopi cyflawn o'r Cylchlythyrau i fod yn feddiant y Gymdeithasfa, ac am sefyllfa bresennol y cofnodau. Nid oedd aelodau y Pwyllgor wedi gallu cydgyfarfod er Cymdeithasfa Rhyl, ond yr oeddynt wedi amcanu hyd y gallent gyrhaedd yr amcan trwy ohebu â'u gilydd, ac âg eraill y tybient y gallai fod ganddynt gopïau o'r Cylchlythyrau yn nghadw. Yr oedd i'w hysbysu i'r Gymdeithasfa,—1. Fod Mr. Edward Griffith, Dolgellau, yn cyflwyno yn rhodd i'r Gymdeithasfa holl Gylchlythyrau y Gymdeithasfa Chwarterol o 1848 hyd yn awr, a Chylchlythyrau y Gymanfa Gyffredinol yn ddwy gyfrol wedi eu rhwymo.—2. Fod meibion y diweddar Mr. P. M. Evans yn cyflwyno yn rhodd i'r Gymdeithasfa y Cylchlythyrau o 1848 i 1861, wedi eu rhwymo yn un gyfrol, er eu bod yn ei gwerthfawrogi yn fawr fel un y rhoddai eu diweddar dad bris mawr arni.—3. Fod y Cylchlythyrau o 1870 hyd yn awr ar gael yn gyflawn gan yr Ysgrifenydd presennol, a bod y Parch. Roger Edwards (trwy yr hwn y cafwyd y gyfrol a berthynai i Mr. P. M. Evans) yn gobeithio y gall wneyd rhyw gymaint eto at gwblhâu yr ail gopi cyflawn y dymunir ei gael.—Penderfynwyd fod diolchgarwch gwresocaf y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i Mr. Edward Griffith, Dolgellau, ac i feibion y diweddar Mr. P. M. Evans, am eu caredigrwydd yn rhoddi drosodd y Cylchlythyrau uchod. Hefyd ein bod yn appelio at y cyfeillion y mae ganddynt gopïau o'r Cylchlythyrau yn nghadw am iddynt roddi cynnorthwy tuag at lanw y bwlch o 1861 i 1870 yn yr ail gopi cyflawn yr amcenir yn awr ei gasglu a'i gael yn feddiant i'r Gymdeithasfa.

*Ail eisteddiad Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 6 o'r gloch.*

XII. Treuliwyd y cyfarfod hwn i ymddyddan â'r brodyr oedd wedi eu dewis i'w hordeinio am eu hanes a'u profiad crefyddol, am eu cymhelliadau i waith y weinidogaeth, ac am eu teimladau yn ngwyneb yr alwad bresennol i gyflawni yr holl waith. Cafwyd atebion boddhäol gan yr holl frodyr i'r gofyniadau a roddwyd iddynt ar y materion uchod. O herwydd fod y brawd Robert Ambrose Jones, Abergele, wedi cael ei gyflwyno unwaith o'r blaen i'r Gymdeithasfa i'w ordeinio, ac heb gael ei gymeradwyo y tro hwnw, galwyd ei sylw ef yn neillduol at y ddau baragraph cyntaf yn y Golygiad Byr ar drefn ordeinio, a gofynwyd iddo yr 20fed a'r 21ain o'r holiadau a ofynir yn gyffredin ar adeg yr ordeiniad. Dywedai

Mr. R. A. Jones ei fod yn gallu cymeradwyo yr adranau a nodwyd yn y Golygiad Byr, a rhoddodd atebiad cadarnhäol i'r ddau ofyniad a nodwyd uchod; ac mewn atebiad i'r Llywydd sicrhäodd ei fod yn ymgymeryd â chario allan y rheolau yn y Golygiad Byr yn yr ysbryd y maent yn cael eu deall gan y Cyfundeb, a'i fod yn dadgan ei ofid o herwydd iddo ysgrifenu yr hyn oedd wedi archolli teimladau ei frodyr. Cynnygiwyd gan y Parch. W. James, B.A., eiliwyd gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., cefnogwyd gan y Parch. G. Ellis, M.A., a chyttunwyd yn unfrydol, ein bod yn ystyried y dadganiad a wnaed yn awr gan Mr. Robert Ambrose Jones yn un boddhäol.

XIII. Cyttunwyd yn unfrydol, fod y brodyr David Jones, Tŷmawr, Lleyn ac Eifionydd; Richard Robert Morris, Siloh, Caernarfon; Samuel Thomas Jones, Llanfairfechan; Thomas Parry, Colwyn Bay; Robert Ambrose Jones, Abergele; David Jones, Llanrhaiadr; John Ceredig Jones, Rhyl; John Morris, Gronant; Ebenezer John Williams, Llanwyddyn; a John Ernest Jones, Rhostyllen, yn cael eu cymeradwyo i'w hordeinio y flwyddyn hon.

DYDD MAWRTH, EBRILL 17.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 9 o'r gloch y bore.*

XIV. Treuliwyd yr eisteddiad hwn gyda'r genadwri a ddaeth o Gyfarfod Misol Llundain, a'r llythyr a ddaethai oddiwrth swyddogion yr eglwys yn Nassau Street o berthynas i eiddo perthynol i'r Cyfundeb ynglŷn â chapel Nassau Street. Cafwyd eglurhâd ar yr achos mewn dadl gan frawd oedd yn bresennol dros Gyfarfod Misol Llundain. Gan fod y ddwy blaid yn awyddus i weithredu yn ol penderfyniad y Gymdeithasfa a gynnaliwyd yn Mangor yn y flwyddyn 1880, pe gellid cydweled ar ystyr y penderfyniad hwnw, penderfynwyd ar ol cryn drafodaeth ein bod yn penodi y brodyr canlynol i fyned i Lundain i geisio penderfynu yr achos yn heddychol ac yn derfynol, gan ddymuno ar iddynt gydsynio i weithredu fel *arbitrators* yn y mater: Mri. Richard Davies, A.S., David Davies, A.S., John Roberts, A.S., Dr. O. Thomas; Mri. D. Roberts, Tan'rallt; E. Roberts, M.D., Penygroes; a T. Lewis, Bangor; Mr. T. Lewis i fod yn gynnullydd.

XV. Cydolygwyd i anfon dadganiad o gydymdeimlad y Gymdeithasfa â'r brodyr y Parch. W. O. Williams, Liverpool, a'r Parch. Thomas Francis, Wrexham; y blaenaf yn ngwyneb y brofedigaeth o farwolaeth ei briod, a'r olaf yn ei lesgedd corfforol.

*Cyfarfod y Pregethwyr.*

Ymdriniwyd yn y cyfarfod hwn â'r mater o "Wir lwyddiant gweinidogaethol." Sylwyd fod yn bwysig iawn i ni beth yr ydym yn ei wneyd yn ein tymmor. A ydym yn llwyddo yn ein gwaith ai nad ydym? Byddai yr hen bregethwyr yn pryderu llawer ar hyn; a diau y dylem ninnau bryderu. Y mae anfantais yn codi o'n trefn ni o lafurio i wybod a yw ein gweinidogaeth yn llwyddo. Ond dylai fod yn ymofyniad genym a yw ein gwrandäwyr wrth wrando arnom yn dyfod yn fwy clir yn eu syniadau am wirioneddau yr efengyl, ac yn fwy cadarn eu crediniaeth o honynt, a pha nifer sydd yn cael eu dychwelyd trwy ein gweinidogaeth at Dduw. Y mae yn bwysig i ni wybod beth yw ein gwir lwyddiant.

Sylwyd gan amryw ar yr hyn a wneir y dyddiau hyn yn benaf trwy offerynoliaeth un brawd yn y weinidogaeth,—fod tua mil wedi eu chwanegu at yr eglwysi yn Lleyn ac Eifionydd, a rhanau o Sir Feirionydd. Gellir gofyn, Ai nid yw y rhai nad ydynt yn gweled pobl yn dyfod o'r newydd i'r eglwysi pan y maent hwy yn pregethu, i ddigaloni, ynte a ydyw astudrwydd yn y gwrando, teimlad dwys yn y gynnulleidfa, a dyddordeb mawr yn yr efengyl, yr un modd yn wir lwyddiant? Mae yn ddiddadl y dylem ddysgwyl llwyddiant mewn ennill eneidiau. Ni buasai Paul yn foddlawn i barhâu i bregethu heb i bechaduriaid gael eu dychwelyd, neu saint gael eu hadeiladu. Ond ni ddylai un brawd ieuanc ddigaloni am na byddai yn gweled llwyddiant ar ei lafur ef yn debyg ymhob peth i'r hyn sydd yn dilyn llafur un arall. Yr ydym yn llafurio gydag achos sydd i lwyddo; ac y mae galwad am i ni syrthio i mewn â threfn y Gwaredwr ei hun gyda golwg ar y ffurf neillduol a fyddo i'n llwyddiant ni.

Sylwyd fod y llwyddiant yn amrywio am fod amrywiaeth doniau ymhlith y pregethwyr, ac amrywiaeth cyfatebol yn meddyliau y gwrandäwyr. Coffäwyd am ddywediad Dr. Dale, yn ddiweddar wrth adolygu effeithiau gweinidogaeth Mr. Moody yn Birmingham. Credai Dr. Dale ei fod ef yn cyflwyno yr efengyl i rai meddyliau mewn gwedd fwy tebyg o gael ei derbyn na'r wedd y gosodai Mr. Moody yr un efengyl ger eu bron; ond yr oedd yn sicr o'r tu arall fod Mr. Moody yn gallu ei chyflwyno i feddyliau llawer yn fwy effeithiol nag y gallai ef wneyd. Felly y gallai gweinidog gyda'r Methodistiaid, un y mae brodyr eraill yn gweinidogaethu mor fynych ag yntau i'w gynnulleidfa, deimlo. Gall lawenhâu am fod eraill yn pregethu i bobl ei ofal, am y dichon fod rhywbeth cymhwys i feddyliau rhai yn y gynnulleid-

fa yn eu gweinidogaeth hwy, a chredwn yr un pryd fod a fyno ei weinidogaeth ef â rhai meddyliau ag nad oes neb arall yn fwy buddiol iddynt.

Dylem ymosod ar y llygredigaethau sydd yn y wlad, ac ar y llygredigaethau sydd yn yr eglwysi. Y mae llawer o annuwioldeb, y mae lle i ofni, yn ein heglwysi; ac yr ydym yn llwyddo os ydym i ryw raddau yn gallu ei ymlid ymaith. Yr ydym yn gwneyd i ddynion deimlo fod y genadwri yn wir, a bod awdurdod ynddi. Hawdd yw gweled mai nid cael dynion i'r gymdeithas eglwysig yw y cwbl, ac mai peth dibwys yw hyn yn hanes llawer o ddynion —nad yw yn ddigon i beri i rai lynu am bythefnos wrth achos y Gwaredwr mawr ar ol iddynt ddyfod i ganol temtasiynau trefydd mawrion Lloegr. Yr un pryd, y mae yn naturiol i bregethwr deimlo yn brofedigaethus os nad yw ei weinidogaeth yn llwyddiannus i ddwyn rhai o newydd i'r eglwys. Y mae hyn yn sêl arbenig oddiwrth yr Arglwydd i'n gweinidogaeth. Ac nid i ychydig y mae achos i lawenychu yn y llwyddiant a geir yn yr ystyr hwn yr adeg hon. Credid fod llawer yn tori drwodd yn awr i broffesu Crist am eu bod yn cael eu hunain mewn awyrgylch ffafriol i hyny, ac yn cael eu hamgylchynu gan bobl sydd yn dysgwyl iddynt ddyfod i broffesu. Ceir fod llawer o'r rhai sydd yn dyfod i'r eglwysi y dyddiau hyn yn dyweyd mai yr hen wirioneddau a glywsent er ystalm sydd wedi dal ar eu meddwl, ond eu bod yn teimlo yn haws cymeryd y cam yn awyrgylch y cyfarfodydd gweddïau ac yn nghanol y gwrês sydd yn eu hamgylchynu. Coffeid am un hen weinidog cymeradwy a ddywedai ychydig cyn marw na wyddai ei fod ef wedi bod yn foddion i ddwyn neb i'r eglwys; ond yr oedd calonau llaweroedd yn tystio fod y plant yn y tŷ wedi cael bwyd ganddo trwy dymmor maith ei weinidogaeth. Dylem yn wastad roi mwy o bwys ar natur y teimlad a gynnyrchir trwy ein pregethau nag ar ei swm, a chofio fod anghen gweddïo yn gystal a llafurio tuag at gyrhaedd gwir lwyddiant. A pha faint bynag fyddo ein llwyddiant da yw fod genym ddyben cywir, ac amcan na ddeuwn byth i gywilydd o'i blegid. Y mae dyn yn gyflawn gyda hwn, ac yn wan iawn hebddo.

Da yw i bregethwr gael ei gadw hefyd rhag dirmygu yr hyn nad yw yn ei feddu ei hunan. Os nad yw y pregethwr yn meddu llais rhagorol ei hun, dylai beidio dirmygu llais, ac y mae yn beth mawr fod pregethwr yn gallu llawenhâu yn ddidwyll yn llwyddiant rhai eraill, ac yn gallu meddiannu ei hun mewn amynedd a phwyll urddasol pan na bydd arwyddion allanol o gyffro ar ei wrandäwyr. Adroddid am un pregethwr a fyddai ymron tori ei galon os na fyddai wedi cael hŵyl, ac mai anhawdd fyddai i neb gael heddwch i gysgu gydag ef ar ol y bregeth ddihŵyl, ac iddo gael cynghor gan frawd arall, "Cysgwch, frawd, yr ydych fel ninnau." Dichon fod dosbarth o wrandäwyr na chânt fyth fendith heb yr hyn a elwir yn hŵyl; ond y mae dosbarth arall a allant gael bendith hebddi yn y bregeth. Ond dylai y pregethwr fod yn ddigon gostyngedig i ganiatâu i Dduw lwyddo ei waith yn ei ffordd ei hun, a thrwy yr offerynau a ddewiso. Os nad ydym yn llwyddo mewn unrhyw ddull, dylem ofyn yn ddifrifol paham na baem yn llwyddo. Adroddid am lysgenadwr Prydeinig mewn cyfwng pwysig, pan yr oedd y deyrnas yr arosai ynddi wedi dyweyd rhywbeth yn erbyn Prydain, â'r Prif-Weinidog wedi rhoi y cyfarwyddyd olaf iddo gyda golwg ar yr hyn a foddlonai Loegr. Teimlai y llysgenadwr wedi derbyn y cyfarwyddyd nes methu cysgu rhag ofn na lwyddai yn ei negeseuaeth, a rhag mai ar faes y gwaed y byddai y cweryl yn cael ei benderfynu, o herwydd ei anfedrusrwydd ef i gael y mater i derfyniad boddhäol. Gweddus yw i ninnau gofio os na lwyddwn ni fel *ambassadors* Crist i ddwyn dynion i gymmod â Duw mai yn nhragywyddoldeb y bydd y mater yn cael ei *settlo* ar ol methu ei benderfynu trwy ein gweinidogaeth. Y ffordd y gallwn ddysgwyl llwyddo yn y negeseuaeth bwysig a ymddiriedwyd i ni yw trwy fod yn hollol gysegredig i'r Arglwydd Iesu.

*Cyfarfod y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth.*

I. Traddodwyd yr Anerchiad gan y Cyn-lywydd, Dr. O. Thomas, wrth adael y gadair, a'i chyflwyno i'w olynydd. Cyfeiriodd yn ystod ei anerchiad at y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr a gawsant gymaint o ystyriaeth y Cymdeithasfäoedd y flwyddyn ddiweddaf, a'r pwys fod y dynion y mae Duw yn eu galw i'r Weinidogaeth yn cael eu galw hefyd genym ninnau. Dadganai yr anghenrheidrwydd am i'r brodyr profedig yn ein plith fod yn bresennol yn y Cymdeithasfäoedd mor fynych ag y byddo modd. Crybwyllodd hefyd fod trydedd Jubili ein Cymdeithasfa yn agosâu, a'r dymunoldeb i ni wneyd rhyw gofnodiad teilwng o'r fath amgylchiad. Cyflwynodd y gadair i'r Parch. John Williams, Rhyl, y Llywydd am y flwyddyn bresennol, gyda'i ddymuniadau goreu iddo, ac i'r Gymdeithasfa y byddai yn llywyddu ei gweithrediadau.

Ar gynnygiad y Parch. Daniel Rowlands, M.A., yr hwn a eiliwyd gan y Parch. John Hughes, D.D., cyflwynwyd diolch-

garwch gwresocaf y Gymdeithasfa i Dr. O. Thomas am ei wasanaeth gwerthfawr fel Llywydd am y flwyddyn ddiweddaf, ac am ei anerchiad rhagorol i ni ar yr achlysur hwn.

II. Cynnygiwyd gan y Parch. T. J. Whelden, B.A., eiliwyd gan Mr. Thomas Lewis, a chyttunwyd, fod y pwnc o ganiatâu hawl i'r cyn-lywyddion i fod ar yr un tir a'r cynnrychiolwyr, yn ol awgrymiad y Dr. O. Thomas yn ei anerchiad wrth adael y gadair, yn cael ei ymddiried i'r Pwyllgor sydd i ad-drefnu cyfarfodydd y Gymdeithasfa, gyda golwg ar iddo gael ystyriaeth pellach.

III. Hysbyswyd y cynnelir y Gymdeithasfa nesaf yn yr Wyddgrug, Mehefin 13, 14, a'r 15. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i gyfarfod am ddau o'r gloch, ddydd Mercher, y 13eg. Cyfeisteddfodau y Genadaeth Gartrefol a'r Achosion Seisonig i gyfarfod fel arferol ynglŷn â'r Gymdeithasfa nesaf. Deallir y bydd Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol yn cyfarfod am chwech o'r gloch, nos Fawrth, Mehefin y 12fed.

IV. Y Gymanfa Gyffredinol i fod yn Abertawe, Mai 29, 30, 31ain, a Mehefin 1af, 1883.

V. Y mae yr Arholiad Cymdeithasfäol nesaf i'w gynnal yn Mlaenau Ffestiniog, yn Nghapeli Rhiw a Bowydd, ar yr amser a hysbyswyd o'r blaen.

VI. Derbyniwyd a chadarnhäwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yr hwn oedd fel y canlyn :—

Llywydd,—Dr. Roberts, Penygroes.—Penderfynwyd,—Fod treuliadau teithio i'r gwahanol gyfeisteddfodau a benderfynid gan y Gymdeithasfa, i gael eu talu o'i thrysorfa.

Cynnygir y brodyr canlynol i gymeryd rhan yn ngwasanaeth yr Ordeinio yn y Gymdeithasfa nesaf. I ddyweyd ar Natur Eglwys, Parch. D. Lloyd Jones, M.A.; i roddi y Cynghor, Parch. Thomas Charles Edwards, M.A.

Darllenwyd papyr a gyfansoddwyd gan Mr. Peter Roberts, Llanelwy, ar "Rwymedigaeth swyddogion eglwysig i osod y Casgliadau Cyfundebol ger bron yr eglwysi a'r Cynnulleidfäoedd," &c. Penderfynwyd diolch i Mr. Roberts am ei bapyr, a dymunid ar iddo gael ei argraffu.

Erfynir ar i'r Gymdeithasfa annog ar i'r papyr hwn—yr hwn a ymddengys yn y *Goleuad* nesaf—gael ei ddarllen yn yr holl Gyfarfodydd Misol, a bod sylwadau i'w wneyd ar ei gynnwys.

VII. Cadarnhäwyd penodiad Mri. John Owen, Portmadoc, a Thomas Lewis, Bangor, yn aelodau o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol am y tair blynedd nesaf.

VIII. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. Lewis Ellis yn aelod o Gyfeisteddfod yr Athrofa.

IX. Cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., eiliwyd gan Mr. John Jones, Coedllai, a chyttunwyd fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu tir perthynol i'r Cyfundeb yn Nghaerlleon.

X. Penderfynwyd fod llythyrau cymeradwyaeth yn cael eu roddi i'r Parchedigion Morris Roberts, Pwllheli, ac O. T. Williams, Dolgellau, ar eu hymweliad âg America.

XI. Ar gynnygiad y Parch. Daniel Rowlands, M.A., yn cael ei gefnogi gan y Parch. John Hughes, D.D., cyttunwyd yn unfrydol ar y penderfyniad canlynol :—"Ein bod yn llawenhâu oblegid fod y Parch. D. Saunders wedi cael ar ei feddwl ymweled âg America, ein bod yn dymuno iddo daith ddiogel, gysurus, a llwyddiannus, ac ar iddo ein cynnrychioli ni fel Cymdeithasfa Gogledd Cymru, yn gystal a Chymdeithasfa y Deheudir, yn Nghymanfäoedd y Methodistiaid yn America, a thrwyddo ef yn anfon ein cofion serchog at ein brodyr yn y Taleithiau Unedig."

XII. Ar gynnygiad y Parch. Daniel Rowlands, M.A., yr hwn a eiliwyd gan y Parch. Francis Jones, penderfynwyd, ein bod yn cymeradwyo y deg brawd a enwyd o'r blaen i'w hordeinio y flwyddyn hon.

XIII. Cyttunwyd i gyflwyno y cenadwriaethau canlynol i'r Gymanfa Gyffredinol nesaf yn Abertawe :—

1. Ein bod yn dymuno awgrymu y priodoldeb fod Pwyllgor y Llyfrau yn trefnu gyda'r Cyhoeddydd i anfon sypynau o'r ddwy Drysorfa yn uniongyrchol o Dreffynnon i bob man gyda'r *Parcels Post*.

2. Ein bod yn anfon cais am i'r Gymanfa Gyffredinol am y flwyddyn 1884 gael ei chynnal yn Liverpool.

XIV. Darllenwyd y Rheolau i Dderbyn ac Ordeinio Pregethwyr, y rhai oeddynt wedi eu cymeradwyo mewn dwy Gymdeithasfa flaenorol.

Cynnygiwyd gan Dr. Hughes, eiliwyd gan y Parch. David Lloyd Jones, M.A., a chyttunwyd ein bod yn eu cymeradwyo am y drydedd waith.

XV. Darllenwyd y Rheolau i Ddewis Gweinidogion am y drydedd waith, ac ar gynnygiad y Parch. W. James, B.A., yr hwn a eiliwyd gan y Parch. John Williams, Dwyran, cyttunwyd eu bod yn cael eu cymeradwyo.

XVI. Darllenwyd Adroddiad Trysorfa y Gweinidogion, a chyflwynwyd ef i'r Gymdeithasfa gan y Parch. Daniel Rowlands, M.A., yr Ysgrifenydd Cyffredinol.

Cyfarfu y Cyfeisteddfod hwn yn Nghonwy, Ebrill 11eg. Yr oedd yn bresennol: o *Fôn*, Parch. John Pritchard a Mr. Samuel Hughes; o *Leyn ac Eifionydd*, Meistri John Ellis a R. J. Pritchard; o *Arfon*, Parch. Francis Jones

a Mr. Edward Jones; o *Ddyffryn Conwy*, Parchn. John Williams a William Roberts, a Mr. John Hughes; o *Ddyffryn Clwyd*, Parch. B. Hughes a Mr. John Roberts; o *Sir Fflint*, Parchn. John Pugh, B.A., ac Evan Jones, a Mr. Owen Williams; o *Ddwyrain Meirionydd*, Parch. David Hughes; o *Orllewin Meirionydd*, Parch. David Jones a Mr. J. Parry Jones; o *Drefaldwyn Uchaf*, Mr. Richard Owen; o *Henaduriaeth Lancashire*, Mr. W. Hughes Williams; o *Liverpool*, Parch. Peter Jones a Mr. David Roberts; o *Manchester*, Mr. Robert Lloyd.

Etholwyd Mr. David Roberts yn Gadeirydd.

1. Darllenwyd y *Balance Sheet* am 1882, yr hon oedd wedi ei chymeradwyo gan yr Archwilwyr. Dangosir fod gweddill yn y Banc ar ddechreu 1882 o £1820 14s. 9c. Derbyniasid cymunrodd o £100 ar ol y diweddar Mr. Thomas Owens, Gerddi Beuno, Treffynnon. Yr oedd y derbyniadau o'r Siroedd yn £589 7s. 5c. Derbyniwyd yn ol o arian a fenthyciasid, £250. Yr oedd y llogau yn £1167 10s. 5c. Yn gwneyd cyfanswm o £3427 12s. 7c. O'r swm yna rhoddasid allan ar log £400. Talwyd i Aelodau a'u Teuluoedd, £1926 5s. 11c. Treuliadau, £59 7s. 11c. Gweddill yn y Banc, £1041 18s. 9c. Yn gwneyd cyfanswm fel o'r blaen o £3427 12s. 7c.—Cyfanswm y derbyniadau o'r Siroedd (£589 7s. 5c.) a'r llogau (£1167 10s. 5c.) oedd £1756 17s. 10c. Cyfanswm y taliadau (£1926 5s. 11c.) a'r treuliadau (£59 7s. 11c.) oedd £1985 13s. 10c. Yr hyn sydd yn dangos fod y derbyniadau yn fyr o £128 10s. i gyfarfod â'r hyn a dalwyd allan o'r Drysorfa. Ac er cymeryd i'r cyfrif y gymunrodd, yr oeddynt yn fyr o £28 10s. Yr oedd gwerth y Drysorfa yn niwedd 1881 yn llai nag ydoedd yn niwedd 1880 o £155; ac yn llai yn niwedd 1882 nag yn niwedd 1881 o £129. Yn niwedd 1882 yr ydoedd yn llai nag ydoedd yn niwedd 1880 o £285. Oni buasai am y cymunroddion a dderbyniwyd y ddwy flynedd ddiweddaf (Capt. Davies, £135 5s. 8c., Parch. Thomas Hughes, £90, Mr. Thomas Owens, £100=£325 5s. 8c.), fe fuasai y Drysorfa wedi myned yn ol yn ystod y ddwy flynedd £610 5s. 8c.

2. Penderfynwyd fod y cyfrif uchod yn cael ei dderbyn a'i argraffu yn yr Adroddiad. Ond ni allai y cyfeisteddfod lai na theimlo pryder a gofid wrth weled y derbyniadau yn syrthio gymaint yn fyr o gyfarfod â threuliadau y Drysorfa; a gwelid yn amlwg, os na ellir meddwl am ryw ffordd i ychwanegu ei chyllid, y bydd raid gwneyd cyfnewidiad buan yn y taliadau allan.

3. Llawenhâi y cyfeisteddfod yn fawr, yn enwedig dan amgylchiadau presenol y Drysorfa, wrth ddeall am gymynrodd Mr. Owens, Treffynnon; a dymuna eto alw sylw cyfeillion caredig yn ein plith at y mawr briodoldeb iddynt, pan yn trefnu eu hamgylchiadau, gofio yn dirion am yr amcan daionus hwn.

4. Annogid ar fod cofnodiad addas yn cael ei wneyd yn llyfrau y Swyddogion lleol am bob cymunroddion a dderbynir yn eu gwledydd at y Drysorfa.

5. Gwnaed trefniadau gyda golwg ar yr adolygiad pum'-mlyneddol ar y Rheolau (Rheol XIV.) sydd i gymeryd lle ddechreu y flwyddyn nesaf, ac annogid ar fod holl aelodau y cyfeisteddfod yn y cyfamser yn ceisio ystyried pa gyfnewidiadau a fyddai ddoethaf eu gwneyd er cadw y Drysorfa rhag suddo. Penderfynwyd hefyd, er mwyn cael hamdden at y gwaith, fod y cyfeisteddfod y tro nesaf eto yn cyfarfod ar wahân oddiwrth y Gymdeithasfa.

6. Galwyd sylw at y gwahanol Bapyrau neu Ffurfiau a argraffwyd yn ol penderfyniad y cyfarfod o'r blaen, a chan fod rhai o honynt yn newydd, annogid ar fod yr holl Swyddogion yn pastio y rhestr o honynt (Ffurf I.) o fewn i glawr eu "Cyfarwyddlyfr," fel y gallont ar unwaith weled pa fodd i'w ddefnyddio.

7. Cymerwyd i ystyriaeth gais a ddaethai oddiwrth y Parch. Hugh Roberts, Wrexham, am gael ymuno â'r Drysorfa; a phenderfynwyd, yn gymaint ag fod ei achos ef mor eithriadol, fod y cyfeisteddfod yn cymeradwyo ei dderbyniad, ond ei fod i wneyd ei daliadau, fel brodyr eraill oeddynt wedi eu hordeinio tua'r un amser, o dechreuad y Drysorfa.

8. Yr oedd yn dda gan y cyfeisteddfod glywed fod y Parch. Rees Jones, yr un modd â'r Parch. Evan Jones, Trewythen, yn dychwelyd y blwydd-dâl ag yr oedd ganddo hawl iddo, at gyllid y Drysorfa.

9. Cydnabyddwyd yn barchus a diolchgar iawn wasanaeth tra gwerthfawr Dr. Gee, y Trysorydd Cyffredinol i'r Drysorfa; a'r un modd diolchwyd yn garedig i'r Archwilwyr, Meistri Thomas Lewis a R. W. Jones, am eu gwasanaeth hwythau. Hefyd, penodwyd yr un Swyddogion Cyffredinol i ofalu am y Drysorfa am y flwyddyn nesaf.

10. Diolchwyd yn dra chynhes i Mr. David Roberts am ei wasanaeth fel cadeirydd, ac am y ffyddlondeb caredig a diball â pha un y mae bob amser yn gwylio achos Trysorfa y Gweinidogion.—DANIEL ROWLANDS, *Ysgrifenydd.*

Cyttunwyd fod yr Adroddiad uchod yn cael ei gadarnhâu gan y Gymdeithasfa.

XVII. Penderfynwyd fod diolchgarwch diffuant y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r cyfeillion yn Nghonwy am eu caredigrwydd yn croesawu y ddau Bwyllgor fuont yn eistedd yno yr wythnos ddiweddaf.

XVIII. Cadarnhäwyd penodiad y brodyr a enwyd yn y Cyfeisteddfod i fyned i Lundain i benderfynu yr achos mewn dadl rhwng y Cyfarfod Misol yno âg eglwys Nassau Street.

XIX. Deallid fod y penderfyniadau o Gynnadledd yr Achosion Seisonig yn cael eu cadarnhâu.

XX. Penderfynwyd fod llythyrau o gydymdeimlad yn cael eu hanfon at y Parch. W. O. Williams, Liverpool, a'r Parch. T. Francis, Wrexham.

XXI. Coffäwyd yn gynhes am y diweddar Robert Roberts, Dolanog, yr hwn oedd wedi myned i orphwys oddiwrth ei lafur er y Gymdeithasfa. Penderfynwyd fod yr

Ysgrifenydd i anfon llythyr i ddadgan ein cydymdeimlad â'i weddw yn ei henaint a'i hunigrwydd. Coffäwyd hefyd yn dra theimladol am y diweddar Mr. Thomas Foulkes Roberts, Dolenog, Llanidloes, yr hwn, heblaw gwasanaethu swydd blaenor yn effeithiol, a fu am dymmor lled faith yn Drysorydd y Genadaeth Gartrefol yn y Gogledd. Penderfynwyd ein bod yn dadgan ein cydymdeimlad â'i weddw a'i blant, a'n llawenydd oblegid clywed am ei ddiwedd tangnefeddus.

XXII. Gwnaed crybwylliad am *Gofiant y diweddar Barchedig Michael Roberts*, sydd yn awr newydd ei gyhoeddi, a chymhellwyd ef i sylw y genedl.

### DYDD MERCHER, EBRILL 18FED.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am hanner awr wedi wyth yn y bore.*

Darllenwyd papyr manwl a chyflawn ar Hanes yr Achos yn Rhan Isaf Sir Drefaldwyn, gan y Parch. Robert Davies, Amwythig. Dilynwyd darlleniad y papyr gan sylwadau gan amryw frodyr ar ansawdd crefydd yn ein plith.

WILLIAM WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

O.Y. Dysgwylir i Ysgrifenyddion y gwahanol Gyfarfodydd Misol barotoi Adroddiad am y Cofnodau o Weithrediadau y Cyfarfodydd Misol erbyn y Gymdeithasfa nesaf.

*Trefn y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Lun, Ebrill 16eg, yn nghapel yr Annibynwyr, pregethodd y Parchn. J. V. Williams, Rhoscolyn, Môn, a Joseph Thomas; ac yn nghapel y Bedyddwyr, yn Saesoneg, y Parch. W. Foulkes, Rhosllanerchrugog.

Nos Fawrth, yn nghapel y Methodistiaid, y Parch. T. J. Wheldon, B.A., a Dr. O. Thomas; yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Dr. Hughes, a David Saunders; ac yn nghapel y Bedyddwyr, yn Saesoneg, y Parch. D. Lloyd Jones, M.A., Llandinam.

Dydd Mercher, am hanner awr wedi 6 yn y bore, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. T. G. Roberts, Rhostryfan, a Griffith Owen, Rhosddu, Gwrecsam. Am 10 o'r gloch, yn yr un capel, y Parchn. W. James, B.A., Manchester, a D. Saunders; a'r un pryd, yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. J. Williams, Rhyl, a Dr. Thomas. Am 2 o'r gloch, yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. J. Williams, Dwyran, a Dr. Hughes; ac yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. Francis Jones, a Daniel Rowlands, M.A. Am hanner awr wedi 5, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. H. Roberts, Rhydymain, a Dr. Hughes; yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. G. Ellis, M.A., Bootle, a D. Saunders; ac yn nghapel y Wesleyaid, y Parchn. W. Roberts, Llanrwst, a Dr. Thomas.

### MARWOLAETH Y PARCH. WILLIAM JONES, LLANBERIS.

DYDD Sadwrn, y 5ed o Fai diweddaf, bu farw y Parch. William Jones, Rehoboth, yn ei gartref yn Llwynbedw, Llanberis, Arfon, yn 65 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu yr efengyl am oddeutu 43 mlynedd, a'i neillduo i holl waith y weinidogaeth yn Mehefin, 1863. Yr oedd yn ŵr â synwyr cyffredin cryf, yn gristion cywir, yn bregethwr da, a'i weinidogaeth ar brydiau yn hynod rymus ac effeithiol. Tra yn ddiwyd a gofalus fel amaethwr, yr oedd hefyd yn ffyddlawn yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Yr oedd ei anymddiried ynddo ei hun yn ei gadw yn ol rhag dyfod i'r *front* gyda'i frodyr mewn Cyfarfodydd Misol a chynnadleddau cyhoeddus; ond yr oedd gan ei frodyr bob ymddiried ynddo, ac yr oedd yn gymeradwy iawn gan bawb oedd yn gydnabyddus âg ef. Yr oedd yn ymddangos yn ŵr iachus a phybyr, a allasai fyw i henaint teg; ond tarawyd ef ychydig fisoedd cyn ei ymadawiad gan glefyd y galon, a hyny, gydag amgylchiadau eraill, a brysurasant ei fynediad ymaith. Yr oedd cynnulliad lliosog o bregethwyr a blaenoriaid, gyda thorf fawr o gyfeillion eraill, yn ei gladdedigaeth ddydd Gwener yr 11eg o Fai, yn mynwent hynafol Llanberis. Wrth y tŷ, ac yn nghapel Rehoboth, gweinyddwyd gan y Parchn. J. O. Jones, Capel Coch; G. T. Parry, Gorphwysfa; D. Williams, Cwmyglo; Rees Jones; Evan Roberts, Caernarfon; David Morris; a Robert Thomas, Llanllyfni. Ac wrth y bedd, cafwyd anerchiad gan y Parch. J. Jones, Bwlan, yr hwn a derfynodd trwy weddïo yn dra effeithiol. Yn hwyr yr un dydd traddodwyd pregeth angladdol, oedd yn wir briodol, yn nghapel Rehoboth, gan y Parch. W. Rowlands, Cefnywaen, oddiar *Actau* xiii. 36.

---

### MARWOLAETH MR. IOAN JONES, RHUTHYN.

Y CRISTION didwyll, y Methodist zelog, a'r hynod ymhob peth, Ioan Jones o Ruthyn, a fu farw ychydig cyn diwedd mis Mawrth diweddaf, yn 73 mlwydd oed. Yr oedd wedi bod mewn nychdod corfforol er ys dwy neu dair blynedd, ond ar amserau yn gallu myned oddiamgylch hyd o fewn ychydig i ddydd ei farwolaeth, ac felly yn y ddau Gyfarfod blaenorol yn Nyffryn Clwyd. Yr oedd yn un arbenig mewn gweddi, ei ddawn yn hyny ar ei ben ei hun; ac felly yn wir yr ydoedd gyda phob peth a ddywedid ganddo. Byddai ganddo gymhariaethau a chyfeiriadau tarawgar ar bob mater dan ei sylw, ac yn enwedig mewn cyfarfodydd eglwysig, megys y canai Mr. Daniel Owen, yr Wyddgrug, ar ei ol:—

Wele gŵr yr alegori—sy 'n fud!
Swn ei fawl wnaeth dewi;
Ei lâniad i oleuni—wnai 'r engyl
Yn y gŵr anwyl hanner gwirioni.

Heblaw Cyfarfodydd Misol ei wlad ei hun, byddai Cyfarfodydd Misol Sir Fflint a Dwyrain Meirionydd mewn blynyddoedd blaenorol yn mwynhâu ei bresennoldeb nid yn an-

fynych, pryd y byddai ei anerchiadau arbenig yn gwefreiddio y lliaws cynnrychiol. Diau y gellid gwneyd llyfr archwaethus ar ei sylwadau gartref ac oddicartref. Byddai ei gymhariaethau yn rhedeg allan hyd yn nôd yn ei ymddyddanion cyffredin. Wedi gwrando pregeth dda a chynhyrfiol, dywedai, "Oni chawsom ni ymenyn tew ar ein bara heddyw? Yr oedd hefyd yn wrandäwr digymhar; byddai mêr a brasder yr efengyl yn peri i "swn ei fawl," ys dywedai Mr. Owen, seinio dros y capel, neu drwy'r dorf ar y maes yn y sasiwn. Ymgynnullodd cannoedd i'w angladd yn mynwent capel Rhydycilgwyn, gerllaw Rhuthyn, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. T. Gee, Dinbych; W. Evans, D. D. Jones, ac E. Jones, Rhuthyn; O. Evans, Bolton; D. Davies, Henllan; B. Hughes, Llanelwy; a W. Jones, Bontuchel; gyda Mr. W. Jones, Penyparc.

---

CYMYDOGAETH DDIRWESTOL.

Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Llangoed, Môn, Ebrill 30ain a Mai 1af, ynglŷn â hanes yr achos yn y lle, dywedid fod dirwest yn uwch yn y gymydogaeth nag yn un rhan o'r wlad, fel nad oes dafarn yn y plwyf, nag mewn rhai plwyfau cymydogaethol. Nid oes werthfa i ddiodydd meddwol, neu dafarndŷ, yn nês nag yn nhref Beaumaris, tua thair milldir oddiwrth gapel Llangoed.

---

# Amrywiaethau.

YR YSGOLFEISTR MEDDW.

Pan gyntaf y cyfarfyddais â John Jones, yr oedd efe yn ysgolfeistr yn un o'r pentrefi tlysaf yn Ngogledd Cymru. Yr oedd ganddo le cysurus. Nid oedd ei gyflog yn fawr, mae yn wir; ond nid oedd yn cael dim blinder oddiwrth y *managers*. Yr oedd efe hefyd yn ohebydd llëol i un o'r papyrau sirol, ac yr oedd ysgrifau oddiwrtho yn cael lle yn un o'r cylchgyhoeddiadau addysgol. Aethum gydag ef i giniaw arddangosfa amaethyddol; ac yr oedd yn ddrwg genyf ei weled yn cymeryd gwin yn dra mynych. Siaredais âg ef ar ol hyny am ei berygl, a deisyfais arno lawnodi yr ardystiad dirwestol. Efe a atebodd fod ganddo nerth uwch a chryfach nag y gallasai yr ymrwymiad ei estyn iddo. Aeth dwy flynedd heibio heb i mi ei weled. Un diwrnod dyma fachgen fy swyddfa yn dyweyd wrthyf, "Os gwelwch yn dda, syr, mae yma ddyn eisieu eich gweled." Byddai cymaint o ddynion, yn gardotiaid, cludwyr llyfrau ac eraill, yn galw gyda mi, fel yr oedd yn flin godi oddiwrth y ddesc; ond yr adroddiad o'm henw a wnaeth i mi godi ar fy nhraed. Yr oedd dyn tàl yn sefyll o fy mlaen nad oeddwn yn adwaen ei wyneb ar y cyntaf; ond yr oedd ei drwyn, ei gôb garpiog, a'i esgidiau drylliog, yn adrodd ei hanes. Gan ei fod yn addaw gwellâu, edrychais am ddillad iddo, rhoddais iddo arian, a gwaith copïo ysgrifau. Yr oedd ganddo lawysgrifen ragorol; ac yr wyf yn credu y derbyniwyd llawer o'm herthyglau i'r cylchgyhoeddiadau ar gyfrif ei ysgrifenyddiaeth brydferth ef. Yr oedd yn dal i weithio mor dda, ac yn cadw mor dda oddiwrth ymyfed, fel yr anturiais ei organmawl wrth gyhoeddwr oedd âg eisieu teithiwr drosto. Yr wyf yn gofidio yn awr am na buaswn yn fwy gochelgar; o herwydd nid oedd yr un dyn yn llai cymhwys i wrthsefyll y peryglon sydd yn amgylchynu'r *commercial traveller*. Yr oedd efe i gael cyflog da; ond daeth adref yn feddw y noson gyntaf. Ni chadwodd efe'r lle ond am bythefnos. Y tro diweddaf y gwelais ef, yr oedd yn sefyll gyda chrwydriad eraill wrth ddrws yr *asylum* nosol. Yr oedd ei freichiau yn mhlêth, ei hêt yn rhwygedig, a'i wyneb yn arlun o anobaith. Hwn oedd y dyn a ddywedai fod ganddo nerth uwch a chryfach nag y gallai yr ymrwymiad llwyrymwrthodol ei estyn iddo! ond os bydd un yn ymdaflu i'r perygl, yn cellwair â diod feddwol, ni wiw iddo ddysgwyl gael ei gadw gan ras y nefoedd.—*Christian Chronicle.*

GWERS GAN Y SUGNEDYDD.

Yr oeddwn yn Cologne ar ddiwrnod pur wlawog, ac o fy llettŷ yn edrych allan am gyffelybiaethau a chymhariaethau, fel y byddaf yn gwneyd yn gyffredin. Ond nid oedd genyf ddim ar ddaear i edrych arno yn ysgwâr y ddinas ond hen sugnedydd *(old pump)*, a pha ryw gyffelybiaeth a allwn wneyd o hono yr oedd yn anhawdd dyweyd. Yr oedd pob trafnidiaeth yn ymddangos wedi sefyll, gan ei bod yn bwrw mor drwm; ond mi sylwais ar wraig yn dyfod at y sugnedydd gyda llestr. Yn fuan wedi hyny dyma ddyn gydag iau ar ei ysgwydd a dau lestr. Fel yr oeddwn yn dal i ysgrifenu, ac i edrych allan yn awr ac eilwaith, sylwais ar yr un dyn yn dyfod gyda'r ddau lestr at y sugnedydd drachefn. Yn ystod y bore yr wyf yn meddwl i mi ei weled yn dyfod ddeuddeng waith. "Ha," meddwn ynof fy hunan, "yr wyf yn barnu nad ydych yn cyrchu yr holl ddwfr hyna i'ch tŷ eich hun; rhaid mai cludwr dwfr ydych; yr ydych chwi yn cyrchu dwfr i lïaws o bobl, a dyna'r paham yr ydych yn dyfod yna yn fynychach na phobl eraill." Wel, yr oedd yn hyna wers oedd yn myned i fy enaid ar unwaith, sef, gan fy mod i nid yn unig i fyned at Grist drosof fy hun, ond wedi fy ngwneyd yn ddyfrgludydd i gario dwfr bywyd tragywyddol i eraill, y rhaid i mi ddyfod ato ef yn llawer mynychach na rhywun arall.—*C. H. Spurgeon.*

LLEOEDD TROEDIGAETHAU.

Yr oedd gŵr dyeithr o'r wlad wedi myned i edrych un o eglwysi cadeiriol Lloegr, ac un o'r dynion perthynol i'r *cathedral* yn dangos iddo bob man oddiamgylch, i'r hwn y gofynodd efe, "A ydych chwi yn cael llawer o dröedigaethau yma?" *(Do you have many conversions here?)* "Llawer o beth?" ebe y dyn. "Llawer o dröedigaethau yma." "Ha, ŵr," medd dyn y lle cadeiriol, "cofiwch mai nid capel Wesleyaidd mo'r lle hwn." Yr oedd y gŵr dyeithr, wrth weled mawredd a gwychder a chywreinion yr adeilad esgobol, yn barnu y gallesid dysgwyl i'r fath addoldŷ mawr fod yn offerynol i gynnyrchu tröedigaethau llawer o bechaduriaid at yr Arglwydd; ond yr oedd y dyn oedd yn gweinyddu yno yn edrych ar hyny yn rhywbeth rhy isel i gymeryd lle mewn adeilad fawr a pharchus o fath eglwys gadeiriol; nid ydoedd yn beth *fashionable* yn ei olwg ef, ond peth a allesid ei ddysgwyl mewn lle cyffredin fel capel Wesleyaidd!

CANU CYSEGREDIG.

Ni ddylai tônau newyddion gael eu defnyddio yn rhy fuan; ac wedi eu dwyn i mewn dylid eu harfer yn fynych, nes i'r gynnulleidfa gynnefino yn dda â hwy. Ond ni ddylid byth ganu tôn newydd *ar ol* y bregeth. Ni a welsom gynnulleidfaoedd wedi eu cynhyrfu yn ddwys gan y bregeth, yn cael eu dystewi rhag moliannu gan dôn ddyeithr. Mae hyn yn fwy na chamgymeriad; pechod ydyw. Dym

gan geneuau cannoedd a ddymunasent ddadgan eu cariad at y Gwaredwr a'u hymddiried ynddo. Uwchlaw y cwbl, gochelwch y tônau y byddo rhyw athrylithyn cerddorol wedi cyfnewid y nodau, gyda'r amcan o wella y dôn wreiddiol, ac yn dyrysu y gynnulleidfa â'i ddawn arbenig ei hun. Mae llawer o dônau da wedi eu llethu a'u lladd fel hyn, fel mai anhawdd yw i ni faddeu i'r cyfansoddydd, nage, i'r dadgyfansoddydd. Gwell o lawer ydyw canu hen dônau yn rhy fynych na bod mewn perygl o golli mawl yr holl gynnulleidfa yn nhŷ yr Arglwydd; ac y mae eisieu cryn lawer o ddarpariaeth i ddwyn tôn newydd i ymarferiad yn y cysegr.—*Evangelical Magazine.*

DYSGYBLAETH.

MEWN cwmni lle yr oedd yr ysgolaig enwog, Dr. Parr, yn bresennol, aeth yn ymddyddan ynghylch ysgolion a cholegau, pryd yr oedd gŵr ieuanc o ymddangosiad hunanddigonol yn siarad yn swnfawr yn erbyn gormodedd dysgyblaeth a llywodraeth yn y prifysgolion, yr hyn oedd, medd efe, yn llethu gormod ar ysbryd dyn ieuanc. Yr oedd Parr yn ddystaw am enyd; ond o'r diwedd, efe a drodd at y siaradwr, ac a ddywedodd, "Nid wyf fi yn synu dim, syr, at eich gwrthwynebiad chwi i ddysgyblaeth a llywodraeth dda. Yr ydym yn gweled fod dysgyblaeth a llywodraeth dda yn gwneyd ysgolaig, ac hefyd yn gwneyd gŵr boneddig; ac yr ydym yn gweled fod y diffyg o honynt wedi eich gwneyd chwithau, ŵr ieuanc,—y peth yr ydym ni yn eich gweled heddyw."

Y CENADON YN YR INDIA.

YR oedd Syr Richard Temple yn dywedyd yn New York amser yn ol, "Bum, yn ystod fy arosiad yn India, yn llywodraethwr llëol ar 150,000,000 o bobl mewn gwahanol daleithiau. Bu miloedd o Ewropëaid yn gwasanaethu danaf, ac mi a ddylwn wybod rhywbeth am werth a chymeriad dynion. Bum yn gydnabyddus hefyd â'r gorsafau cenadol ar hŷd a llêd y wlad. Yr wyf yn credu nad oes yn holl India un corff o ddynion yn fwy talentog, selog, a medrus na'r cenadon yno."

YMESTYN AT BERFFEITHRWYDD.

HEN awdwr da, a sant rhagorol, a ddywed, "Os ydych yn amcanu at fod yn berffaith, nid oes eisieu i chwi wneyd pethau anghyffredin; ond ceisiwch wneyd pethau cyffredin mewn ffordd anghyffredin o dda. Nac amcenwch at lawer ar unwaith, ond dechreuwch trwy fod yn ffyddlaw ar ychydig."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## HENADURIAETH SHILLONG.*

GAN Y PARCH. T. JERMAN JONES.

CYNNALIWYD Cyfarfod yr Henaduriaeth yma yn Shillong ar yr 17, 18, a'r 19 o'r mis hwn. Yr oedd yma lawer o feddwl am dani, a hwylio a pharotoi ymlaen llaw ar ei chyfer. Bu genym amryw gyfarfodydd i ystyried pa fodd i wneyd, pa drefniadau, a pha fodd i'w dwyn ymlaen. Yr oedd yn angenrheidiol casglu swm go lew at y draul, sef rhoddi ymborth i'r dyeithriaid. Bu genym un cyfarfod i ymdrin â'r mater hwn; ac ar ol llawer o siarad a chynllunio, cytunwyd fod i bawb roddi yn ol fel yr oedd yn teimlo ac yn bwriadu yn ei galon, ac yn y ffordd hon ni a gawsom ddigon at ei chynnal, sef dros £15. Penderfynwyd mai bwyta yn yr un fan fyddai oreu, ac nad oedd yr un ffordd arall, am nad oes yma yn agos ddigon o dai i ddarparu ymborth ynddynt i'r dyeithriaid. Felly gwnaed bwthyn bychan i g ginio yr ymborth, a bwyta yn ysgoldŷ y bechgyn, a myned i ysgoldŷ y genethod neu i'r tai fel y byddent yn dewis i eisteddian, ac i siarad, ac i ymgydnabyddu â'u gilydd rhwng y cyfarfodydd. Cyfarfod drachefn i ranu y gwaith rhwng pawb, a rhoddi i bawb ei waith ei hun; rhai i brynu *rice*, eraill i brynu porc, ieir a physgod, eraill i chwilio am lestri, ac eraill am fatiau, eraill am lampau, eraill wedi eu gosod i wylio y dyeithriaid yn cyrhaedd, &c. A phrydnawn dydd Gwener dyma y bobl yn dechre dyfod o holl ranau y wlad, mintai ar ol mintai, weithiau pump, weithiau saith, yna tri, chwech, wyth, oll yn falch o gyrhaedd pen eu taith, fel Israel gynt yn dyfod i'r ŵyl i Jerusalem; yn dyfod o Shella a Cherra, o Mawphlang a Khadsawpra, o Mawdem a Mynnar, o Shangpoong a Jiwai, ac o Kyndiar i gadw gŵyl i Frenin Sion. Yr oedd yr holl genadon yn bresennol, ac hefyd Mrs. Hughes, a Mrs. Griffiths, a Mrs. Evans a'r plant; fel rhwng pawb yr oedd yma nifer lliosog.

*Y Cyfarfod cyntaf am* 10 *bore Sadwrn, Mawrth* 17.

Y peth cyntaf oedd cenadwriaethau o'r eglwysi: anghen am flaenoriaid newydd yn Jiwai. Penodwyd Mr. Evans ac U Ngor i fyned yno. Hysbyswyd fod pobl Nongrymai yn myned i gael capel newydd, fod yr addewidion ato, yr eglwys a'r pentref, yn cyrhaedd y swm o 250 *rupees* (£25); canmolwyd hwynt am addaw mor dda; rhoddwyd caniatâd iddynt, ac annogwyd hwynt i fyned ymlaen. Rhan ddyddorol o'r cyfarfod hwn oedd derbyn nifer o flaenoriaid newydd o eglwysi Cherra, Wmlyngkha, Wmsaw, Shillong, a Shangpoong, a chymerodd y rhan fwyaf o amser y cyfarfod hwn; holwyd hwy am eu profiadau a'u gwybodaeth, a rhoddwyd cynghorion iddynt. Sylwai un o honynt wrth ddyweyd ei brofiad, Nad oedd yn gwybod pa edau yn ei ddilledyn oedd yn ei gynhesu, ond fod yr holl ddilledyn yn ei gynhesu;

* Cyhoeddwyd yn ein rhifyn diweddaf rai crybwyllion am y cyfarfod yn Shillong, ond diau y bydd yr hanes helaethach hwn yn dderbyniol.

nid wyf yn deall llawer o bethau yn yr iachawdwriaeth, ac nis gallaf eu hegluro, ond yr wyf yn teimlo yn gynhes a diogel yn y drefn ac yn yr Arglwydd Grist; mae ei gyfiawnder Ef yn ein hachub oll ac yn ein cadw rhag y digofaint sydd ar ddyfod.

Yn y cyfarfod hwn penderfynwyd fod yr holl gasgliadau eglwysig i fyned yn uniongyrchol i gyllidau y Genadaeth. Bydd hyn yn llawer o hwylusdod yn rhai o'r eglwysi, heblaw y bydd yr holl eglwysi yn gwneyd yr un fath yn y mater hwn. O'r blaen yr oedd rhai o'r eglwysi yn defnyddio y casgliad hwn, neu ran o hono, tuag at efengyleiddio yn y dull yr oeddynt hwy yn barnu yn oreu er daioni y gwaith; ond o hyn allan bydd pob lle yn gwneyd yr un fath.

*Y Cyfarfod nesaf, am 4 o'r gloch.*

Mae yr Henaduriaeth nesaf i fod yn Jiwai, Hydref 13—15. Gwnaed coffa am y rhai oedd wedi marw. Bu tri o ddynion o eglwys Jiwai farw y flwyddyn hon—U Riangkhro, a Singkyma, ac U Jangdwm. Dyn cyfoethog ydoedd U Jangdwm; ac ychydig cyn marw ymddygodd fel dyn cyfoethog—addawodd yn haelionus iawn at y capel newydd y maent yn ei adeiladu yno, a daeth â'r haiarn i'w doi gydag ef o Calcutta. Yr oedd o dan lawer o demtasiynau oblegid ei gyfoeth, ond ni orchfygwyd ef. Ei dystiolaeth wrth ei wraig ac eraill, pan yn agos â myned ymaith ydoedd, ei fod yn hollol foddlawn i adael y cyfan a myned i fyw at yr Iesu—ei bod yn llawer iawn gwell. Yr oedd ei feddwl yn llawn o'r capel hyd y diwedd, ac annogai ei wraig i beidio wylo ar ei ol, ond bod yn sicr o gyflawni ei addewid at y capel newydd. Yr oedd yn gwella fel yr oedd yn myned ymlaen mewn blynyddoedd. Cuddio a maddeu pechodau a gwendidau yw y ffordd; ac yr ydym yn teimlo yn bur sicr ei fod wedi myned i'r nefoedd i fyw yn oes oesoedd ar gyfoeth gras yr Arglwydd Iesu. Treuliwyd y gweddill o'r cyfarfod i gael hanes yr achos yn y Dosbarth.

Pregethwyd y Sabboth ar hyd y dydd. Am 10, dechreuodd U Ranjan, Shella; pregethodd U Ksan Bin, Cherra, Matt. xxi. 44; a Mr. Griffith Hughes, Dad. xxii. 11. Am 1, dechreuodd U Sati, Mawnai; pregethodd U Ksan, Shella, 2 Cor. vi. 2; a Mr. John Roberts, Phil. ii. 12, 13. Am 4, dechreuodd U Katwar, Jiwai; pregethodd U Juramon, Dan. ii. 17—19; a Mr. Robert Evans, 1 Thess. v. 9, 10. Yr oedd y cynnulleidfäoedd yn lliosog yn yr holl gyfarfodydd, y capel yn llawn, a nifer yn gwrando mewn pabell oedd wedi ei gosod i fyny wrth ochr y capel. Ymddygodd pawb yn weddus, ac yr oeddent yn gwrando yn astud. Bendith y nefoedd fyddo yn gorphwys ar yr holl foddion!

Am 7 yn yr hwyr, cyfarfod eglwysig; a chafwyd ymddyddan oddiar Luc ix. 28, 29: "A bu, ynghylch wyth niwrnod wedi y geiriau hyn, gymeryd o hono ef Pedr, ac Ioan, ac Iago, a myned i fyny i'r mynydd i weddïo. Ac fel yr oedd efe yn gweddïo, gwedd ei wynebpryd ef a newidiwyd, a'i wisg oedd yn wèn ddysglaer;" fod gweddi—fod cymdeithas â'r nefoedd, yn effeithio ar ddyn i gyd; ei galon a'i wyneb, ei wisg a'i ymddygiadau.

Yn y cyfarfod am 7 bore Llun darllenwyd y papyr o Gyfarfod y Brodorion, yr hwn a gynnaliwyd am 2 ddydd Sadwrn. Y mater oedd, "A byddwch wneuthurwyr y gair, ac nid gwrandäwyr yn unig, gan eich twyllo eich hunain,"—mater o'u dewisiad hwy eu hunain. Llywydd, U Ngorsing; Ysgrifenydd, U Katwar. Ymddengys iddynt gael cyfarfod da, ac fod yno lawer o ddyweyd wedi bod ar y mater. Bu yno amryw faterion eraill dan sylw,—achos priodas, ordeinio pregethwyr brodorol, argraffu cylchlythyr yn rhoddi hanes yr Henaduriaeth, &c. Aeth rhai o honynt gam ymlaen, ac arosodd eraill yn yr un fan. Chwi gewch hanes yr ymdriniaethau gan yr ysgrifenydd.

---

## DOSBARTH SHANGPOONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. R. EVANS, DYDDIEDIG EBRILL 4YDD, 1888.

Yr wyf wedi methu yn lân a chael amser i ysgrifenu dim o hanes y *Presbytery* i chwi. Gallaf ddyweyd yn hwn, ar frys, fod y cyfarfodydd oll yn rhai da a buddiol iawn. Yr oedd y pregethau a glywais yn dda, a'r cynnulleidfäoedd mawrion yn gwrando yn astud. A chyfrif y tri chyfarfod ar y Sabboth gyda'u gilydd, nid wyf yn meddwl y gwelais erioed gynifer o bobl yn gwrando yn Shillong. Yr oedd y Sabboth yn ddiwrnod hyfryd iawn, a'r capel yn orlawn drwy y dydd, a llawer yn gorfod bod allan mewn un neu ddau o'r cyfarfodydd. Mae y Khasiaid yn eistedd mor agos i'w gilydd fel y mae yn anhawdd gwybod nifer y rhai oeddynt yn gwrando; ond ni byddai yn bosibl i mi gamgymeryd pe dywedwn fod yno yn gwrando o saith cant i fil.

Siaradodd rhai o'r brodorion yn bur dda, yn y cyfarfod eglwysig, ar weddi. Dywedent y pethau a fuasem yn ddysgwyl i bobl gall a gwybodus ddyweyd ar y mater. A chymeryd pob peth gyda'u gilydd, mae genyf fwy o feddwl o wybodaeth, profiad a phurdeb y rhai mwyaf blaenllaw ymhlith

y Cristionogion ar ol Henaduriaeth Shillong nag oedd genyf o'r blaen. Bu Mr. a Mrs. Jones a Christionogion Shillong yn garedig wrthym oll.

Mae yn ddrwg genyf ddyweyd i bump o Gristionogion—dau o Iangkiat a thri o Mawlyber—dori y Sabboth yn ddiweddar drwy fyned i flingo a thori buffalo gwyllt oedd wedi cael ei ladd gan diger. Mae yn ddrwg iawn ganddynt oll am yr hyn a wnaethant, ond mae yn debyg, er mwyn dysgyblaeth, y bydd yn rhaid eu tori allan. Mae hynyna yn achos tristwch i ni, ond nid ydym oblegid pethau eraill heb achos i lawenhâu. Yr ydym wedi penderfynu cario un tŷ, yn cynnwys saith o bersonau, o'r pentref i'n plith yr wythnos nesaf, ac y mae teulu arall o'r pentref eisieu bod yn Gristionogion a chael symud eu tŷ. Mae yr efengyl yn llwyddo yn y parthau yma yn llawn ddigon cyflym, os nad yn rhy gyflym, i ni gyda'r *staff* o athrawon allu eu dysgu. Y mae y cyfeillion yma, yn ngwyneb hyn, wedi bod yn siarad am gael cyfarfod gweddi i erfyn am i'r Arglwydd roddi yn nghalonau ein cyfeillion yn Nghymru i gyfranu mwy er ein galluogi i sefydlu ysgolion yn y pentrefi. Gall y bobl yma, oddigerth un neu ddau, ddyweyd fel yr Apostol, "Arian ac aur nid oes genym, ond yr hyn sydd genym yr ydym yn ei roddi." Maent yn gweithio yn dda, ac yn barod i wneyd fel y dywedaf wrthynt. Mae y teulu Cristionogol sydd yn Nongynriah mewn trallod, ac heb wybod pa beth i'w wneyd. Mae teulu y wraig wedi bod yn eu tŷ amryw weithiau yn lladrata *rice* a llestri tra yr oeddynt hwy yn eu caeau yn gweithio. Gwyddant mai y rhai hyn sydd yn gwneyd, ond nid oes neb wedi eu gweled. Maent bron a symud yma, ond yr ydym yn eu perswadio i aros yno er lles yr achos. Dywedant y buasai athraw yn help a chefn mawr mewn llawer modd. Mae un teulu o bentref Ralliang yn son am symud atynt a bod yn Gristionogion. Yr wyf yn meddwl mai yn Nongynriah y bydd y pentref Cristionogol, am ei fod yn lle iach; a phawb o Ralliang fyddant yn penderfynu bod yn Gristionogion, yno y symudant eu tai.

Ni roddais gyfrif y capel yn nghyfrif y Genadaeth ddiwedd y flwyddyn, am nad oeddwn wedi cael amser i'w wneyd i fyny, ond dysgwyliaf allu anfon cyfrif clir o bob peth. Yr wyf yn gweled yn y Drysorfa fod casgliad Môn i fyned at "*do haiarn* capel Shangpoong." Nis gwn pa fodd y bu y camgymeriad. Buasai yn dda genyf pe buasai y peth yn bosibl; ond bydd raid i ni, am ryw amser o leiaf, foddloni ar do *gwellt*. Mae muriau ein tŷ newydd mewn dwy ochr can uched a'r ffenestri, a'r holl goed wedi eu tori tuag ato.

## YR ADRODDIAD BLYNYDDOL.

Bydd yr Adroddiad Cyffredinol wedi ei argraffu erbyn y daw y rhifyn hwn i ddwylaw ein darllenwyr. Anfonir y sypynau yn ddioedi i'r Trysoryddion neu yr Ysgrifenyddion Cenadol mewn cysylltiad â phob Cyfarfod Misol. Anfonir nifer digonol i roddi copi i bob tanysgrifiwr o 2s. 6c. ac uchod.

## DERBYNIADAU AT Y GENADAETH.

Dymunir ar i gasgliadau lleol gael eu hanfon, hyd y byddo modd, i'r Trysoryddion Sirol, ac i restrau o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael eu hanfon naill ai i'r Ysgrifenyddion Sirol neu i'r Trysoryddion Sirol. Bydd hyn yn hwylusdod mawr i bob Ysgrifenydd Sirol i allu cyflwyno rhestr drefnus o gasgliadau y Sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad Blynyddol. Gellir anfon rhoddion personol, rhoddion tuag at amcanion neillduol, &c., i'r Trysorydd Cyffredinol.

Dymunir na byddo i'r Blychau nac i'r Tocynau (*cards*) gael eu hanfon yn ol. Gwell fydd anfon *rhestr o enwau* y casglyddion ynghyd a'r swm a gasglwyd ganddynt i'r Ysgrifenydd Cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol. Gellir cael *covers* newyddion ar y Blychau ond ymofyn â'r Trysoryddion Sirol neu â'r Ysgrifenydd Cyffredinol.

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, John Griffith, Esq., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

D.S. Gwneler Post Office Orders yn daladwy yn LIVERPOOL ac NID yn Birkenhead.

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 633.] GORPHENAF, 1883. [LLYFR LIII.

## DILYN CYFIAWNDER A THRUGAREDD.

DIARHEBION xxi. 21: "Y neb a ddilyno gyfiawnder a thrugaredd a gaiff fywyd, cyfiawnder, ac anrhydedd."

YR ydym yn cael *Llyfr y Diarebion* yn ystorfa ardderchog o addysg foesol a challineb ymarferol; addysg a gynnwysir mewn byrddywediadau synwyrlawn a chyrhaeddgar, y rhai yr ydym i'w derbyn fel gwir eiriau Duw. Cawn ynddo y gwersi goreu pa fodd i iawn ymddwyn ymhob sefyllfa, perthynas, ac amgylchiad ar y ddaear, ac felly gyflawni ein dyledswyddau at Dduw, at ein cymydog, ac atom ein hunain. Yr oedd Luther yn galw y llyfr hwn yn llyfr o weithredoedd da, yr hwn, medd efe, y dylai dyn ei ddarllen yn fynych, ac ymchwilio a ydyw ei fywyd yn ymateb i'w ddysgeidiaeth. Sylw un o'r hen Buritaniaid oedd, "A fyno fod yn sanctaidd ei ysbryd, darllened *Lyfr y Salmau*; ac a fyno fod yn ddoeth ei ymddygiad, darllened *Lyfr y Diarebion*." Ymysg yr holl ddiarebion rhagorol ereill, mae yr adnod a gymerasom yn destun yn deilwng o sylw. Byddai ei chredu a'i chadw yn brawf o wir ddoethineb, ac yn cynnyrchu gwir ddaioni.

Wele gymeriad neu ymarferiad prydferth yn cael ei osod o'n blaen: "dilyn cyfiawnder a thrugaredd." Ac wele y wobr neu y fantais fawr o'r cyfryw ddilyniad: "bywyd, cyfiawnder, ac anrhydedd."

YR ymarferiad a ganmolir yw "dilyn cyfiawnder a thrugaredd." Mae meddwl cryf iawn i'r *dilyn* hwn; gair a arferir am helwyr a helgwn, yn myned yn awyddus a phenderfynol ar ol y pryf—y *game*—nes ei gael. Dilyn cyfiawnder a thrugaredd yw ymlynu yn gyson a pharhâus wrth y rhinweddau hyn, heb adael i unpeth rwystro yr ymarferiad o honynt.

Yma cyfleuir i ddau ddosbarth arbenig y dyledswyddau rhwng gŵr a gŵr: cyfiawnder a thrugaredd. Yr ydym weithiau yn cael ofn yr Arglwydd, neu dduwioldeb, yn gysylltiedig â'r cyfryw ddyledswyddau cymdeithasol, megys y cawn gan Paul fod gras yr efengyl yn "ein dysgu i fyw yn sobr, yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon," ac fel y dywed y gŵr doeth yn y llyfr hwn, "Yr hwn sydd yn rhodio yn ei uniondeb sydd yn ofni yr Arglwydd." Ond er na chawn ein dysgu felly yn y testun hwn, gellir nodi fod y gair *cyfiawnder*, yn ei ystyr eang, yn cynnwys dyledswydd dyn tuag at Dduw a thuag at ei gymydog. Beth yw cyfiawnder yn ei weithrediad? Rhoddi i bawb yr hyn sydd ddyledus iddynt. Wele, y mae ein dyled i Dduw o flaen ac yn fwy a phwysicach na phob dyled arall. Nid oes gan neb y fath hawl arnom â'r Hwn yr ydym yn cael ein bywyd, ein rheswm, ein hamser, a phob daioni oddiwrtho. Ac os anghyfiawn yw attal yr hyn sydd ddyledus oddiwrth rywun, pwy bynag fyddo, y mae'r neb nid yw yn ofni a charu Duw a chadw ei orchymynion yn un anghyfiawn yn wir. Clywyd ambell un yn dywedyd, Os nad ydwyf yn ddyn crefyddol, yr wyf yn ddyn gonest, pa fodd bynag. Ond rhaid i ni dystiolaethu yn erbyn y cyfryw un, a sicrhâu, Nac wyt, ysywaeth, ddim yn onest; a phan y'th bwysir yn y cloriannau ceir di yn brin. Dyn gonest neu gyfiawn yw yr hwn a rydd

i bawb yr eiddo ei hun, a dyma di ymhell o roi yr eiddo Duw i Dduw. Tydi yn ddyn gonest! nac wyt, o herwydd nid "anrhydeddaist y Duw y mae dy anadl di yn ei law, a'th holl ffyrdd yn eiddo." Nid mab cyfiawn yw yr hwn a ddianrhydeddo ei dad; nid gwas cyfiawn yw yr hwn na ddyry ufudd-dod i'w feistr; "ac os ydwyf fi Dad, pa le y mae fy anrhydedd? ac os ydwyf fi feistr, pa le y mae fy ofn? medd Arglwydd y lluoedd."

Ond yr ydym yma i gymeryd yr ymadrodd, "dilyn cyfiawnder," am gyfiawnder ymarferol rhwng dyn a dyn; ac ni a ymofynwn i ddechre beth sydd gynnwysedig yn hyn.

Mae rheolau a chyfarwyddiadau y Bibl ar y mater hwn yn eglur a phendant, fel nad oes fodd eu camddeall. "Telwch i bawb eu dyledion: teyrnged i'r hwn y mae teyrnged yn ddyledus, toll i'r hwn y mae toll, ofn i'r hwn y mae ofn, parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. Na fyddwch yn nyled neb o ddim, ond o garu bawb eich gilydd. Na byddo i neb orthrymu na thwyllo ei frawd mewn dim. Na chamattal oddiwrth dy gymydog, ac nac yspeilia ef. Pan werthech ddim i'th gymydog, neu brynu ar law dy gymydog, na orthrymwch bawb eich gilydd. Na wnewch gam ar lathen, ar bwys, ar fesur. Y meistriaid, gwnewch i'ch gweision yr hyn sydd gyfiawn ac uniawn, gan wybod fod eich Arglwydd chwi a hwythau yn y nefoedd, ac nid oes derbyn wyneb gydag ef. Y gweision —i fod yn ddarostyngedig i'w meistriaid eu hun, nid â llygad-wasanaeth fel boddlonwyr dynion; nid yn darnguddio, ond yn dangos pob ffyddlondeb da. Dyma y pethau a wnewch chwi: dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog; bernwch farn gwirionedd a thangnefedd yn eich pyrth." O y gwerth a'r cysur fyddai i wlad a thref pe ceid pawb i rodio yn ol y rheolau hyn!

Y mae'r neb a ddilyno gyfiawnder yn ffyddlawn i'w ymddiried, ac yn ddihoced a gonest yn ei holl orchwylion. Wedi iddo yn bwyllog ymrwymo i wneuthur hyn neu arall, ni bydd dim ond anmhosiblrwydd a bair iddo gilio yn ol. Os dygwydd iddo, trwy gyflawni ei ymddiried, fod yn golledwr mewn ystyr arianol, eto wrth fod yn ddyn at ei air, efe a geidw ei gymeriad yn ddihalog. "Yr hwn a dwng i'w niwed ei hun ac ni newidia," yw efe. Os rhoddi pobl ar waith y bydd, ceir ef yn ofalus i wneyd yr hyn sydd uniawn a theg i'r rhai fyddo yn gweithio dano; neu, os gweithio ei hunan y mae, dengys ei fod yn gydwybodol at i'r gwaith y derbynia gyflog o'i herwydd gael ei wneyd a'i orphen yn deilwng. Canmoliaeth uchel a roddir i'r gweithwyr oedd yn adgyweirio y deml yn amser Josïah: "A'r gwŷr oedd yn gweithio yn y gwaith yn ffyddlawn." Yr oedd yr oll a wnaent yn waith trwyadl, yn dda drwyddo, ac nid yn rhywbeth arwynebol; ac yr oeddynt yn myned ymlaen yn ddyfal a diddiogi nes ei lwyr gwblhâu. Nid bob amser y canfyddir y ffyddlondeb hwn gyda gwaith ac ymddiried. A welwch chwi y gweithiwr, y llafurwr acw, gyda'i orchwyl? Mae efe yn gweithio mwy, yn gweithio yn llawer gwell, yr wythnos hon nag yr oedd yr wythnos ddiweddaf. Ai teimlo ei hun yn iachach a chryfach mae efe'r dyddiau hyn? O nage: gweithio wrth y dydd yr oedd efe yr wythnos o'r blaen, ac yn dyweyd ynddo ei hun, Yr wyf yn sicr o'r *cyflog*, pa faint bynag a weithiaf; ond gweithio ar dasg—gweithio wrth y *job*, y mae efe yr wythnos hon; ac *efe* a ŵyr mai po fwyaf a weithia mwyaf fydd y tâl; a'i bwnc ef yw edrych yn unig ar yr eiddo ei hun, ac nid *bod yn* ffyddlawn yn yr eiddo arall. Dacw ŵr a gwraig yn gweini yn nheulu boneddwr, y rhai oedd gynt yn cadw tŷ a gardd o'r eiddynt eu hunain. Y pryd hwnw yr oeddynt yn ofalus a diwyd iawn, ac yn gynnil gyda'u hymborth a'u dillad, eu tân a'u canwyllau; eithr yn awr y maent yn hytrach yn ddiofal a gwastraffus. Dibynu arnynt eu hunain yr oeddynt o'r blaen; ond eiddo gŵr arall sydd yn eu cynnal yn bresennol; ac nid ydynt bellach mewn un modd yn fanwl gyda dim a arolygir ganddynt. Rhaid gadael rhai o'r *fath* hyna allan o restr y rhai sydd yn dilyn cyfiawnder. Mae egwyddor ffyddlawn a chyfiawn yn ei dangos ei hun mewn pethau bychain fel mewn pethau mawrion. "Y neb sydd ffyddlawn yn y lleiaf sydd ffyddlawn hefyd mewn llawer, a'r neb sydd anghyfiawn yn y lleiaf sydd anghyfiawn hefyd mewn llawer." Caffer ni yn wastad ymysg "ffyddloniaid y tir."

Y mae cyfiawnder i'w ddilyn ymhob trafodaeth fasnachol. Hawdd yw gwyro oddiar ffordd cyfiawnder wrth brynu a gwerthu. Dyn yn methu cael unpeth yn ddigon isel wrth brynu, neu yn ddigon uchel wrth werthu,—nis gellir galw'r gŵr hwnw yn gyfiawn. Dyma fel y ceid yn amser Solomon, ac felly yn ein hamser ninnau, ysywaeth: "Drwg, drwg, medd y prynwr; ond pan êl o'r neilldu, efe a ymffrostia." Iaith y dyn wrth brynu yw, Mae'r nwydd hwn o ddefnydd salw ac o wneuthuriad gwael, neu, Mae'r bai hwn a'r bai arall ar yr anifail yma; mae'r pris a ofynir genych yn ormod o lawer, ac y mae yn rhaid nad ydych o ddifrif wrth enwi y fath swm; ond, o ran hyny, nid oes arnaf fi mo'i eisieu; mi wnaf yn llawn cystal hebddo. Ond wedi iddo lwyddo i gael yr eiddo, neu'r dâ byw, am lai na'i werth, mawr yw ei ymffrost am ei fedr a'i gyfrwysdra; ac y mae yn llawen iawn am iddo lwyddo i wneyd cyfryw fargen, ac felly â'i ogoniant yn ei gywilydd; canys yn nghanol ei fôst, y mae Duw'r gwirionedd yn edrych arno yn un pell oddiwrth gyfiawnder. Mor wahanol oedd egwyddor Abraham, tad y ffyddloniaid! Gwrandewch arno yn ceisio gan Ephron yr Hethiad ogof Macpelah i gladdu Sarah ei wraig: "Er ei llawn werth o arian," ebe efe—ïe, ei llawn werth, "rhodded i mi." Gall egwyddor salw fod ar waith hefyd yn y gwerthwr: gorganmawl yr hyn a werthir ganddo; cuddio a chelu y diffygion fyddo ynddo; haeru am beth gwael ei fod yn wych, a'r gwallus yn ddifeius, er mwyn codi mawrbris am dano. Ond rhywbeth iachus i galon dyn yw edrych ar y neb a ddilyno gyfiawnder wrth *counter* y *shop*, neu ar yr heol yn y ffair a'r farchnad, ac ymhob man. Mae efe mor gywir a theg wrth ddelio â phlentyn ag a fyddai gyda dyn craff a gwybodus; ni chymer fantais ar anwybodaeth nac ar anghen neb er mwyn gwneyd bargen ennillgar; ni rydd gamadroddiad am bris y farchnad tuag at werthu yn uwch neu brynu yn îs; mae ei ïe yn ïe, a'i nage yn nage; mae yr hyn a ganmolir ganddo yn werth ei ganmawl, ac y mae yn ddigon gonest i hysbysu am fai neu wall lle byddo. Un o ffyddloniaid y Bymthegfed Salm ydyw: "yr hwn a rodia yn berffaith, a wnêl gyfiawnder, ac a ddywed wir yn ei galon." O Arglwydd cyfiawn, yr hwn a geri gyfiawnder, amlhâ a chadarnhâ y genedl gyfiawn yn y tir.

Nid oes ddilyn cyfiawnder gan neb heb ymgais i dalu eu holl ddyledion. Er cymaint o bethau da sydd yn ein mysg fel cenedl, mae yn rhaid i ni gydnabod fod llawer iawn yn Nghymru na cheir mo honynt yn bur yn y peth hwn. Un o ddrygau mawrion ein gwlad ni yw yr arfer sydd mor gyffredin yn ein plith o godi eiddo ar goel, yn lle gwneyd yn ol un o ddiarebion gwladaidd yr hen Gymru, Hwda i ti a moes i minnau; hwda i ti yr arian, a moes i minnau yr eiddo. Y mae cenedlaeth o feibion a merched a welir yn trotian o'r naill fasnachdŷ i'r llall i gyrchu nwyddau, gan adrodd ystori lyfndeg, a gwneyd addewid gampus i dalu'r cwbl ar fyr adeg, ond mewn gwirionedd heb un olwg ar roddi taledigaeth. Ar ol treulio eu holl fedr tafodog yn y werthfa hon nes na bydd obaith am chwaneg o wrandawiad, tröant i wneuthur yn gyffelyb mewn lle arall ac arall, nes o'r diwedd fod eu henwau fel pobl anghywir yn hysbys drwy yr holl gymydogaeth. Mae yn chwith meddwl fod y *county court* yn llwyddo i gwblhâu yr hyn y methodd blynyddoedd o aelodaeth yn eglwys Dduw ei wneuthur: peri i rai pobl unioni â'u gofynwyr, a thalu eu dyledion. Beth? un a fynai gael ei alw yn gristion mor ddiystyr o gyfraith Crist, fel y mae yn rhaid ei orfodi gan gyfraith y tir i wneyd yr hyn sydd gyfiawn! Anghenrhaid a osodir arnom i rybuddio a thystiolaethu gyda'r Apostol Ioan, "Na thwyller chwi; yr hwn sydd yn gwneuthur cyfiawnder sydd gyfiawn, megys y mae yntau yn gyfiawn;" yntau, sef ein Harglwydd a'n Hiachawdwr, Iesu Grist y Cyfiawn. Mae yn ddiau y gall amgylchiadau ddygwydd pan fyddo dyn da a duwiol yn methu ateb i ofynion arianol arno; ond pan ddygwyddo felly, bydd hyd yn nôd ei ofynwyr yn barod i dystio mai dyn cyfiawn yw efe, ac mai analluogrwydd anocheladwy, ac nid dim anewyllysgarwch nac annhegwch, a fydd yn ei rwystro i dalu ei ddyled; a gwelir ef yn rhoi pob gewyn ar waith, yn codi yn fore, gweithio yn ddiwyd, cynnilo, gweddïo, gwneyd pob egni i ddyfod yn rhydd o'r cyfryw flin gaethiwed. Mor ddedwydd yr oedd yr hen

chwaer hono yn Nhreffynnon ar ei gwely angeu, er ys llawer blwyddyn bellach, yr hon, er o radd isel, oedd o nodwedd gwir foneddigaidd, ac a estynai i'r blaenor, a ddaethai i ymweled â hi, y dogn dyledus arni ar lyfr yr eglwys. Efe a ddywedai wrthi, "Nid ydym yn dysgwyl dim oddiwrthych chwi sydd yn gorwedd fel hyn; ni chymeraf mo honynt." "Na," ebe hi, "yr oeddwn wedi eu rhoddi o'r neilldu fel eiddo yr Arglwydd; ac y mae yn ddigon tebyg y byddaf wedi fy nghymeryd oddiyma cyn y daw'r *society* yr wythnos nesaf; dyma nhw i chwi; a bellach yr wyf yn *right* barod i farw. Fe fydd fy enw yn glir ar lyfr yr eglwys; a gallaf ddyweyd hefyd nad oes un ddimai i'm herbyn ar lyfr yr un *shop* yn y dref; ac O diolch byth!" meddai hi, â'r dagrau gloëw yn llenwi ei llygaid, "yr wyf yn credu fod croes dros y cyfrif wrth fy enw ar lyfr y nefoedd—yr hen fil mawr yno wedi ei glirio trwy'r gwaed." O am gyffelyb werthfawr ffydd i ninnau oll!

Gallesid nodi amryw bethau eraill ynglŷn â'r dilyn cyfiawnder yn ol y testun; ond rhaid myned ymlaen at y gair arall sydd ger ein bron. Mynwn gyrhaedd y teimlad dymunol hwnw, "Yr ydym yn credu fod genym gydwybod dda, gan ewyllysio byw yn onest ymhob peth."

Dilyn trugaredd a ddaw eto dan ein sylw. Ni a welwn yr enwir trugaredd yma ar ol cyfiawnder; cyfiawnder yn gyntaf, yna trugaredd; yn debyg fel y dywed Iago am y ddoethineb oddiuchod: "Yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da." Pa mor ddymunol bynag fydd gwneuthur trugaredd, ni ddylid byth aberthu cyfiawnder er ei mwyn. Rhaid bod yn gyfiawn cyn bod yn hael, medd yr hen air. Ond os yw cyfiawnder i gael y lle cyntaf, mae trugaredd i fod yn ymyl yn wastad, ac felly fod dilynwr y naill yn dilyn y llall hefyd.

Ni raid i drugaredd wneuthur, ac nis gwnâ, un dim yn groes i gyfiawnder; ond yr hyn nad oes ar law cyfiawnder i'w estyn, a roddir gan drugaredd. Iaith cyfiawnder ydyw, Cadwer pob peth yn ei le; ond iaith trugaredd yw, Coder yr hyn a syrthiodd o'i le yn ôl i'w le. Mae gan gyfiawnder ei lestr mesur, ac y mae yn edrych am roddi llawn fesur ynddo; ond y mae trugaredd yn ceisio llestr mawr, a'r mwyaf y dichon ei gael, ac, heb feddwl am fesur, yn llenwi hwnw nes y byddo yn rhedeg drosodd. Gellir dyweyd fod cyfiawnder yn cadw *bank*, neu fwrdd cyfnewid, lle i roddi gwerth am werth, ond fod trugaredd yn cadw elusendŷ, i ymgeleddu a chynnal trueiniaid heb arian ac heb werth. Neu, a ddefnyddio cymhariaeth arall, mae cyfiawnder yn hwylio llong marsiandwr, ac yn edrych yn fanwl am fyned ymlaen yn ol y *chart*; ond *lifeboat* sydd gan drugaredd, i achub rhai ar ddarfod am danynt gan y dymhestl.

Y neb a ddilyno drugaredd, beth y mae yn ei wneuthur? Mae yn wylo gyda y rhai sydd yn wylo, yn cydymdeimlo o'i galon â'r rhai sydd mewn cyfyngderau a chystuddiau, ac yn eu cynnorthwyo hyd eithaf ei allu; efe a ymwêl â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd; tŷr ei fara i'r newynog, dwg y crwydriaid i dŷ, a phan welo y noeth, efe a'i dillada; tra y mae yn cael amser cyfaddas, efe a wna dda i bawb, yn enwedig i'r rhai sydd o deulu'r ffydd. Am ambell un rhaid dywedyd,

> Mewn moment y crebycha ei fròn
> Pan yr aroglo gasgliad;
> Paham y bu y golled hon?
> Medd ef os gwêl gyfraniad.

Ond nid felly y mae dilynwr trugaredd. Mae cael môdd i roddi, a lle i roddi, yn llòni ei ysbryd, yn ol y gorchymyn, "Yr hwn sydd yn trugarhâu, gwnaed mewn llawenydd;" a dyma yr ysbryd sydd gymeradwy gan Dduw: "Rhoddwr llawer mae Duw yn ei garu." Da fyddai i lawer gofio un o hen bennillion syml y Ficer Prichard,

> "Crist â'n dododd yn stiwardiaid
> I gyfranu rhwng y gweiniaid;
> Y da a roddodd dan ein dwylo,
> Rhoddwn ninnau rhag ei ddigio."

Yr ydym i ddilyn trugaredd, hefyd, mewn ystyr grefyddol ac ysbrydol. Nid oes drugaredd ar y ddaear mor werthfawr â hono sydd o ddifrif am lesâu eneidiau dynion, a'u hachub rhag y perygl mwyaf. Beth yw bod yn dlawd, yn amddifad, yn grwydryn digartref, yn glâf nychlyd, yn y bywyd yma, mewn cymhariaeth â bod yn enaid colledig, mewn poen, gwarth,

gwae, ing annhraethadwy, ac anobaith bythol, yn y byd arall? Ac am hyny y drugaredd ragoraf mewn dyn yw yr hon sydd yn tynu ei chymhelliadau o nefoedd ac uffern—y drugaredd a fyn ennill rhai o'r newydd i ddysgu gair Duw yn yr Ysgol Sabbothol, ac i'w wrando yn mhregethiad yr efengyl—y drugaredd a gais droi pechadur o gyfeiliorni ei ffordd, er mwyn cadw enaid rhag angeu, a chuddio lliaws o bechodau,—dyma y drugaredd sydd yn dangos mwyaf o ddelw y Duw trugarog a graslawn, ac yn dwyn mwyaf o ogoniant iddo. Rhodded yr Arglwydd i ni ddoethineb a ffyddlondeb at y fath amcan pwysig; o herwydd "yr hwn a ennillo eneidiau sydd ddoeth."

Yr ydym i ddeall ymhellach am ddilyn trugaredd, ein bod i drugarhâu yn wyneb tramgwyddiadau yn gystal ag yn wyneb dyoddefiadau; y dylai trugaredd fod ar waith ar gyfer camymddygiad i'w faddeu yn gystal âg ar gyfer anghen i'w ddiwallu. Os ydym yn dysgwyl wrth drugaredd faddeuol Duw am ddileu ein camweddau ni i'w erbyn ef sydd fwy na deng mil o dalentau, yn sicr ni a ddylem ac a wnawn drugarhâu i faddeu rhyw geiniogach o gamweddau brawd neu gymydog yn ein herbyn ni.

Cymerwn yn awr fyr olwg ar y ffrwyth a'r fantais o'r cyfryw ddilyniad: "Y neb a ddilyno gyfiawnder a thrugaredd, a gaiff fywyd, cyfiawnder, ac anrhydedd." Rhywbeth hynod a hyfryd ydyw fod gwobr yn gysylltiedig â gwneyd yr hyn sydd ddyledus a rhwymedig arnom; ond felly y mae gyda yr oll a orchymynir gan Dduw: "O'u cadw y mae gwobr lawer."

Y peth cyntaf a nodir fel y ffrwyth gwerthfawr yw bywyd: "A gaiff fywyd." Mae'r gair *bywyd* yn cael ei arfer yn fynych am gysur bywyd, iawn fwyniant o hono, ac felly yma: a gaiff wir fwynhâd bywyd, a gaiff fywyd hapus, bywyd gwerth ei alw yn fywyd. Bywyd truenus yw bywyd o anghyfiawnder, ac nid nemor gwell yw bywyd o segurdod; nid oes dim dedwyddwch mewn bywyd o'r fath. Dyna'r bobl sydd yn byw uwchlaw eu moddion, heb arbed na chynnilo dim erbyn diwrnod o wasgfa, ond wedi rhedeg i ddyled, ac yn gorwedd ynddi; bywyd a ddaw i'r pen yn drwstan yw hwnyma. A dyna ddyn abl o ran meddiant bydol, ond yn byw yn gwbl iddo ei hun, heb wneyd llês nac estyn cymhorth i neb,—mae hwnw yn colli gwir bleser byw. Ond am wrthddrych y testun, efe "a *gaiff* fywyd;" bywyd â *relish* odiaeth arno, bywyd ar y ddaear dan wên y nefoedd, bywyd dyn yn cael ei fendithio gan Dduw. Yr wyf yn cofio darllen am ŵr oedd wedi ennill cyfoeth lawer, a rhoi i fyny ei fasnach mewn canlyniad, gan ddysgwyl bod yn ddedwydd wrth fyw yn ŵr boneddig; ond, heb ganddo ddim i'w wneyd, efe a aeth yn hollol druenus ei feddwl, heb fod y gwychder a'r llawnder o'i amgylch yn gallu gweini cysur iddo. O'r diwedd penderfynodd wneyd pen am ei einioes; a dyna efe ryw ddiwrnod yn cyrchu tuag afon fawr, ar fedr ymdaflu i foddi ynddi. Ar y ffordd yno, wele fachgen bychan tlawd yn ei gyfarch yn wylofus: "O syr, mae acw chwech o honom heb damaid o fwyd; O a gâf fi rywfaint, er mwyn i ni gael torth o fara i'n cadw yn fyw!" Meddyliodd y boneddwr, gan nad oedd efe am fyw yn hwy, mai gwell ydoedd iddo roi'r cwbl oedd yn ei logell i'r bachgen; a dyna efe yn estyn dyrnaid o arian i'r hogyn tlawd. "Beth?" ebe hwnw gan chwerthin-crïo, "a ydych yn rhoi'r cwbl yma i mi?" "Wel ydwyf," oedd yr ateb. "O diolch i'r Brenin Mawr, a diolch i chwithau, syr. O hwy a fyddant yn rhyfeddu, ac yn hapus, pan yr âf adref;" ac i ffwrdd â'r bachgen ar redeg. Daeth rhywbeth i feddwl y gŵr am fyned ar ei ol, ac efe a'i dilynodd â'i olwg nes ei weled yn myned i fewn i fwthyn draw. Aeth yntau ymhen ychydig i mewn yno, pan waeddodd y bachgen, "Dyma'r gŵr boneddig da a roes fôdd i ni fyw eto;" ac yr oedd pob un yno yn ei fendithio o'u calon. "Wel, yn wir," medd efe ynddo ei hun, "mae yn werth i mi fyw eto i wneyd daioni fel hyn;" ac o hyny allan, efe a ymroes i wneuthur gweithredoedd o haelioni a charedigrwydd; ac ni chafodd byth brofedigaeth drachefn i fyned yn hunan-leiddiad. "Yr hael a ddychymyg haelioni," ebe rhyw adnod, "ac ar haelioni y saif efe." Efe a saif yn ddiogel a chadarn a thawel a siriol, gan ddeall yn dda oddiar brofiad eiriau yr Arglwydd Iesu, "Dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn."

Yn nesaf: "a gaiff gyfiawnder." Cyfiawnder a ddilynodd, a chyfiawn-

der a fwynhâ. "Gwisgwn gyfiawnder," medd Job," a hithau a wisgai am danaf fi." Dyma wisg glŷd a glân, gwerth ei chael a'i chadw. Ychydig iawn, os neb, a faidd geisio twyllo dyn o enw da fel un trwyadl onest; bydd hyd yn nôd hen gnafiaid yn cael eu gwasgu i onestrwydd gan ei gymeriad dysglaer ef. "A gaiff gyfiawnder;" gall hyn arwyddo, A gaiff ddefnyd llo yr hyn sydd ganddo gyda chydwybod yn tystio ei fod yn eiddo cyfiawn iddo. Melus iawn, a thycio yn rhagorol, y bydd yr hyn a gaffo dyn ar dir cyfiawn, pa cân lleied bynag fyddo. Un gŵr duwiol, pan ar farw, a ddywedai wrth ei fab, "Wel, fy mab, nid oes genyf lawer o bethau'r byd i'w gadael i ti ar fy ol; ond yr wyf yn credu am yr hyn sydd genyf y cei ei fod yn gwisgo allan yn dda, o herwydd nid oes genyf geiniog wedi ei hennill ar lwybr anonest" Credwn yr hen Ddwyfol Lyfr, "Gwell yw ychydig trwy gyfiawnder na chnŵd mawr ar gam. Gwell yw ychydig sydd gan y cyfiawn na mawr olud annuwiolion lawer."

Yn olaf meddir yma, "a gaiff anrhydedd." Nid oes agos yr un awydd yn gryfach yn meddwl dyn na'r awydd am anrhydedd—am *respect;* ond y mae llawer yn cyfeiliorni am yr hyn sydd yn cyfansoddi anrhydedd. Nid lle, nid eiddo, nid sefyllfa, sydd yn codi dyn yn wir anrhydeddus. Cynneddfau da, a gweithredoedd da, a roddant i ddyn enw da. Er cynddrwg ydyw'r byd, nis gall beidio parchu y neb a ymlyno wrth gyfiawnder, ac a ymroddo i wneuthur trugaredd. Y dyn sydd yn ffyddlawn i'w gyfeillion, maddeugar i'w elynion, tosturiol wrth yr anghenus a'r trallodus—yr hwn y gellir yn ddiogel wrando arno fel cynghorwr, ei ddilyn fel arweinydd, ymddiried ynddo fel cyfaill, a'i garu fel brawd,—dyna un y rhaid i'n geneuau a'n calonau ei anrhydeddu. Bydd enw hwn yn barchus yn ei fywyd, a'i goffadwriaeth yn fendigedig wedi iddo farw.

Fel hyna y mae'r wêdd ddymunol ar y bendithion a sicrheir i ddilynwr cyfiawnder a thrugaredd; ac y mae gwêdd arall i'w chael arnynt, sef fel bendithion o natur uwch, bendithion ysbrydol a thragywyddol, oddiar edrych ar y dilyniad a argymmolir yma fel ffrwyth yr Ysbryd, fel arwydd o ailenedigaeth. Dyma eiriau y Bibl ar hyn: "Y glân ei ddwylaw a'r pur ei galon, yr hwn ni ddyrchafodd ei feddwl at wagedd, ac ni thyngodd i dwyllo,—efe a dderbyn fendith gan yr Arglwydd, a chyfiawnder gan Dduw ei etifeddiaeth. I'r rhai trwy barhâu yn gwneuthur da, a geisiant ogoniant, ac anrhydedd, ac anllygredigaeth, y bydd bywyd tragywyddol." Mae yr adnodau hyn yn dangos, nid sail cyfiawnhâd ger bron Duw, ond nodweddiad y rhai a gyfiawnheir. Gwyddom mai "dawn Duw yw bywyd tragywyddol trwy Iesu Grist ein Harglwydd;" ond ni wiw i unrhyw un feddwl ei fod ar y ffordd i'r bywyd hwnw os na cheir ef ymysg y pobl sy'n "parhâu yn gwneuthur da." Duw â'n gwaredo rhag methu gyda mater bywyd bythol.

Hwyrach fod rhywun yn barod i ammheu a ydyw traethu sylwadau o'r natur hyn yn bregethu yr efengyl. Onid Iesu Grist, meddir, sydd i'w bregeth? Ië, a Christ yn ei ddysgeidiaeth, cofier, yn gystal ag yn ei aberth; ei ras yn ein dysgu pa fodd i fyw yn gystal â pha fodd i wynebu marw. Tröer i bregeth Crist ar y mynydd, a cheir ynddi lïaws o wersi perthynol i'r bywyd hwn. Ac O y rheol auraidd a ddyry efe ynddi, yr hon pe cedwid hi genym bawb, â'i gwnai yn nefoedd ar y ddaear: "Pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy." Fel pibellau yn dwyn dwfr o'r *reservoir* i'r tai yn y trefi, felly y dylai pregethwyr wneyd gyda dwfr y bywyd; chwilio am y modd goreu i ddwyn efengyl Crist yn ei grasusau ymarferol at bawb a'i gwrandawo. Ac ofer i neb feddwl ei fod yn credu yr efengyl os nad yw yn byw yr efengyl yn ei holl ymarweddiad.

Ond ni a allwn oddiyma fyned at enaid yr efengyl. Gydag annog dynion i ddilyn cyfiawnder a thrugaredd tuag at eu gilydd yn y bywyd hwn, mae genym hawl i'w gwahodd i dderbyn cyfiawnder a thrugaredd gan Dduw erbyn y bywyd a fydd, yr hyn, yn iaith Paul, ydyw "derbyn llïosogrwydd o ras a dawn cyfiawnder;" a phen draw hyny yw "teyrnasu mewn bywyd" yn oes oesoedd. Trugaredd yw y cwbl i ni yn yr holl waredu a'r dyrchafu trwy Grist; ond y mae hono yn drugaredd gyfiawn, sydd yn ein codi i sefyll yn anrhydeddus yn wyneb y

gyfraith fanylaf, ac yn peri hyder ddydd y farn. Yr oedd un hen amaethwr deallus, yr hwn oedd hefyd yn grefyddwr da, yn talu ymweliad â'i feistres tir, oedd yn byw ryw ddeng milldir ar hugain oddiwrth ei drigfa ef. I ddangos ei pharch a'i hoffder o'i hen denant hwn, hi a anfonodd y gwas a'r cerbyd i'w gario i orsaf y rheilffordd, gan roi arian i godi tocyn o'r gradd cyntaf iddo. Yr hen dyddynwr wrth adrodd yr hanes a ddywedai, "Yno yr oeddwn yn hen ffarmwr gwladaidd, yn eistedd yn nghanol boneddigion a *ladies*, y rhai a edrychent yn ffroenuchel arnaf fi wedi dyfod i'w mysg hwy. Ond teimlad hapus i mi oedd meddwl fod genyf gystal hawl i fod yno â hwythau; yr oedd *ticket first class* genyf, a hwnw yn rhad i mi, ond wedi costio cryn dipyn i fy meistres. Rywsut mi feddyliais yn y fan am y nefoedd; yr wyf yn dysgwyl y câf fyned yno yn wir; a phe byddai rhai o hen foneddigion y nefoedd yn edrych yn syn ac ammheus wrth weled fy math i yn eu mysg—ond ni wnân' nhw ddim serch hyny, mi fyddwn yn teimlo yn gysurus yn eu canol wrth feddwl, Y mae genyf *right* i fod yma, yn y lle goreu a fêdd Duw, er i hyny ddyfod i mi yn rhad. Dyma'r *ticket* na bydd bosibl ei wrthod: ffydd yn ei waed Ef, yr Hwn a osododd Duw yn Iawn!" I Dduw y byddo'r diolch am y gall pob un o honom gael y cyfryw docyn anmhrisiadwy yn rhad. Derbyniwn y cyfiawnder Duw a ddadguddir yn yr efengyl, y cyfiawnder sydd o ffydd, ac ni a gawn felly y drugaredd fwyaf a all Brenin y nefoedd ei hestyn i ni.

*Yr Wyddgrug.*

---

## PREGETH GOFFADWRIAETHOL AM Y DIWEDDAR EDWARD PETERS, YSW., CAERLLEON.

*Gan y Parch.* J. P. Davies, M.A., *Caerlleon.*

Hebreaid xiii. 7: "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw; ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad."

Dywedir am hanesyddiaeth mai athroniaeth yn dysgu trwy esiamplau ydyw. Rhywbeth danooddol iawn ydyw athroniaeth fel y cyfryw; ond y mae athroniaeth yn dysgu trwy esiamplau yn beth ymarferol ac agos iawn at bawb. Ychydig mewn cymhariaeth all ddeall a mwynhâu athroniaeth fel y cyfryw, ond gall pawb ddeall a mwynhâu hanesyddiaeth. Nid ydyw athroniaeth yn gangen boblogaidd o lenyddiaeth, ond y mae hanesyddiaeth yn gangen boblogaidd iawn. Chwi a gewch yn y Bibl lawer o athroniaeth fel y cyfryw —egwyddorion mawrion a dyfnion sydd yn gorwedd wrth wraidd a mesur pethau, ar ba rai y mae y teimladol a'r ymarferol yn gorphwys; ond chwi a gewch ynddo hefyd lawer o'r athroniaeth sydd yn dysgu trwy esiamplau. Mae rhanau helaeth o'r Bibl yn hanesyddol. Cawn ynddo hanes personau a hanes amgylchiadau. Cawn ynddo hanes pobl dda a hanes pobl ddrwg. Dygir y naill i'n sylw mewn trefn i ni eu hefelychu, a'r llelll mewn trefn i warchod rhag bod yn rhy debyg iddynt.

Gwaith buddiol a hyfryd iawn ydyw astudio cymeriad dyn da fel y mae yn dyfod i'r golwg yn ei hanes. Cawn hanes llawer o'r cyfryw yn y Bibl; ac y mae eu hanes wedi ei roddi i ni i edrych i mewn iddo ac i ganfod ynddo elfenau cymeriad goreugwŷr y byd, ie, rhai nad oedd y byd yn deilwng o honynt. Mae tuedd i ddyrchafu y meddwl mewn dyfod âg ef wyneb yn wyneb â chymeriad da. Y mae yn ddyledswydd arnom mewn canlyniad astudio y cymeriadau y cawn eu hanes yn y Bibl, a cheisio eu hefelychu yn yr hyn y maent yn rhagori.

Y mae yr apostol yn adnod y testun yn dwyn ger bron yr Hebreaid ddyledswydd ychwanegol, ond nid un wahanol i astudio cymeriadau Biblaidd. "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw." Yr oedd Abraham, Isaac, a Jacob, ynghyd a llawer eraill, wedi bod yn flaenoriaid i'r genedl; yr oedd eu hanes hwy yn ysgrifenedig ganddynt yn Ysgrythyrau yr Hen Destament, ac yr oedd yn ddyledswydd arnynt feddwl am y blaenoriaid hyn, a cheisio eu hefelychu yn eu rhagoriaethau. Ond nid dyma y rhai y mae yr apostol yn cyfeirio atynt yn adnod y testun, ond y rhai yr oeddynt wedi eu hadnabod a dyfod i gyffyrddiad personol â hwy, a rhai erbyn hyn oedd wedi gadael eu gwaith ar y ddaear, ac wedi myned i fwynhâu eu gwobr yn y nefoedd. "Meddyliwch am eich blaenoriaid," hyny yw, y rhai hyny fu yn blaenori, yn arwain a llywodraethu yr eglwys, tra yr oeddych chwi yn aelodau o honi; "y rhai a draethasant i chwi air Duw," sef y rhai fu lawer gwaith yn eich cynghori yn yr Arglwydd. Meddyliwch am danynt i'w hefelychu yn eu rhinweddau a'u rhagoriaethau. "Ffydd y rhai dilynwch."

Y mae ffydd yn y fan hon yn meddwl,

nid ansawdd ar y meddwl, nid gras yn y meddwl, neu weithred o eiddo y meddwl yn unig, ond ffydd yn ei gwaith, "oblegid ffydd heb weithredoedd marw yw"—ffydd fel y mae yn agor ar fywyd duwiol a defnyddiol. "Ffydd y rhai dilynwch." Meddyliwch am eu bywyd sanctaidd a defnyddiol, ac ymdrechwch eu dilyn. Dilynwch chwi hwy i'r graddau yr oeddynt hwy yn dilyn Crist. Ystyr y gair a gyfieithir yn y fan yma "yn ddilyn" ydyw dynwared. Dynwaredwch, efelychwch, eich blaenoriaid i'r graddau yr oeddynt hwy yn efelychu Crist.

Nid ydyw bywyd yr un dyn duwiol yn gyfryw fel ag y gallwn ni ei ddynwared ymhob peth. Dacw Abraham, tad y ffyddloniaid, yn troi mor anffyddlawn ar un amgylchiad fel ag i wadu ei wraig. Dacw Moses, y llarieiddiaf o ddynion, yn colli ei dymher i'r fath raddau fel ag i ladd yr Aiphtwr oedd yn ymosod ar yr Hebrewr. Dacw Dafydd, yr hwn oedd ŵr wrth fodd calon Duw, ar awr anwyliadwrus yn ei hanes, yn syrthio i bechod gwaradwyddus gyda gwraig Urias yr Hethiad. Nid ydyw y saint mwyaf enwog yn gyfryw ag y gellir dilyn ôl eu traed ar bob amgylchiad. Anmherffaith ydyw dynion goreu yr oesoedd; ond er eu hanmherffeithrwydd y mae rhyw elfenau yn eu cymeriad, a dygwyddiadau yn eu bywyd, ag y mae ysbrydoliaeth Ddwyfol yn ein cyfarwyddo i'w hefelychu a'u dilyn. "Meddyliwch am eich blaenoriaid; ffydd y rhai dilynwch."

Y mae yma ddyledswydd arall yn cael ei dwyn ger ein bron, sef ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt. Nid eu hymarweddiad yn gymaint yn y fan yma, ond *diwedd* eu hymarweddiad. Ystyr llythyrenol y gair a gyfieithir "diwedd" yma ydyw mynediad allan. Yr un gair sydd yn cael ei gyfieithu yn *ddiangfa* yn yr ymadrodd hwnw, "Eithr a wna ynghyd â'r demtasiwn ddiangfa hefyd fel y galloch ei dwyn." Beth ydyw diwedd bywyd duwiol? Diangfa ydyw. Llwybr o waredigaeth ydyw, gwaredigaeth oddiwrth demtasiwn, oddiwrth brofedigaethau, oddiwrth ofid a phoen ymhob ffurf arnynt am byth. Gelwir arnom gan yr apostol i "*ystyried* diwedd eu hymarweddiad hwy." Y mae y gair a gyfieithir "ystyried," yn arwyddo edrych ar beth yn fanwl o'r naill ben i'r llall, o'r gwaelod i fyny, edrych arno yn ei holl ranau nes cael argraff gyflawn o hono: "gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." "Ystyr y perffaith; edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gŵr hwnw fydd tangnefedd."

Yr oedd Edward Peters yn gyfryw gymeriad ag y mae ysbrydoliaeth Ddwyfol yn ein cynghori i feddwl am dano. Y mae yn dyfod i fyny â'r desgrifiad y mae yr apostol yn ei roddi yma o'r rhai yr oedd yr Hebreaid i feddwl am danynt. Yr oedd yn blaenori, ac y mae wedi traethu i ni air Duw. Bu yn flaenor dros hanner can' mlynedd. Mae modd bod yn swyddog heb fod yn flaenor. Dyn ar y blaen ydyw blaenor. Arweinwyr ydyw y gair sydd gan Dr. Owen yn y lle hwn. Llywodraethwyr ydyw y gair sydd ar ymyl y ddalen. Mae lle i ofni fod ambell i swyddog eglwysig ar ôl lliaws o'r aelodau cyffredin; ar eu hôl mewn haelioni, mewn gweithgarwch crefyddol, ac mewn ysbrydolrwydd meddwl. Nid blaenoriaid ydyw y rhai hyny, ond *ôl*oriaid. Ond gallwn ddyweyd yn ddibetrus am ein hanwyl frawd ymadawedig ei fod yn flaenor—yn ddyn ar y blaen mewn haelioni crefyddol, mewn gweithgarwch, ac ysbrydolrwydd meddwl.

Yr oedd hefyd yn un a draethodd i ni air Duw. Ni byddai yn cymeryd testun ac yn pregethu yn ffurfiol arno, ond gwyddom y byddai yn traethu i ni air Duw. Beth am ei anerchiadau coeth yn y cyfarfodydd eglwysig? Onid oedd hyny yn draethu i chwi air Duw? Y mae ei gynghorion, ei gyfarwyddiadau, a'i geryddon yn cael eu cofio gan lawer o bobl ieuainc Cymru, a fu yn aelodau o'r eglwys a'r gynnulleidfa hon (St. John Street, Caerlleon) yn ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf. Clywais cyn hyn ddynion ieuainc a fu yn aros yn Nghaerlleon flynyddoedd yn ol, yn cyfeirio gyda'r parch mwyaf at gynghorion a chyfarwyddiadau Edward Peters yn y cyfarfodydd eglwysig, er y byddai y rhai hyny weithiau yn cael eu traddodi gyda llawer o lymdra ac awdurdod.

I. Ond cynghor yr apostol i ni yn y geiriau dan sylw ydyw "Meddyliwch am eich blaenoriaid.

1. *Meddyliwch am fam Mr. Peters yn ei gyflwyno a'i gysegru i'r Arglwydd pan yn blentyn bach.*

Cafodd ein hanwyl gyfaill ei ddwyn i fyny yn grefyddol o'i febyd. Yr oedd gofal ei rieni yn neillduol am dano, ei fam yn enwedig. Dywedwyd wrthyf fwy nag unwaith fod ei fam wedi ei gyflwyno a'i gysegru i'r Arglwydd pan oedd yn blentyn bychan. Y mae yma wers i rieni, ac i famau yn neillduol. "Wele plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd." Y maent yn etifeddiaeth i ni oddiwrth yr Arglwydd, a dylent fod yn etifeddiaeth i'r Arglwydd oddiwrthym ninnau. Y Brenin mawr sydd yn rhoddi plant i'r rhieni, ac y mae rhieni crefyddol a duwiolfrydig yn cyflwyno eu plant yn ol iddo yntau. Gwnaeth Mrs. Peters, Caergwrle, hyny gyda'i mab Edward pan oedd yn faban. Yr oedd yn

swyddus am iddo dyfu i fyny yn golofn dan achos Duw. Famau, beth ydyw eich dymuniadau gyda golwg ar eich plant? Yr ydych wedi eu cael yn etifeddiaeth gan yr Arglwydd; ac a ydych wedi eu cysegru a'u cyflwyno yn ol mewn gweddi yn etifeddiaeth iddo yntau?

2. *Meddyliwch am ei ymgysegriad a'i ymgyflwyniad i wasanaeth yr Arglwydd.*

Efe a gafodd ei gysegru a'i gyflwyno i'r Arglwydd gan ei fam; ac fe ddaeth effeithiolrwydd ei gwaith hi i'r golwg yn ei waith ef yn cysegru a chyflwyno ei hun i'r Arglwydd. Tyfodd i fyny yn ddyn ieuanc llednais ei deimlad, crefyddol ei ysbryd, ac awyddus i weithredoedd da. Yr oedd yn rhagori yn yr elfenau prydferth hyn pan yn bur ieuanc. Yr oedd ei gymeriad crefyddol mor ddysglaer fel y dewiswyd ef yn swyddog eglwysig pan oddeutu dwy neu dair ar hugain oed. Cymerodd hyn le yn ei gartref yn Nghaergwrle. A phan symudodd oddiyno i Gaerlleon, dewiswyd ef yn fuan yn swyddog eglwysig, ac yn arweinydd y canu yn eglwys y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig yn Commonhall Street; a bu yn hynod o ffyddlawn ac ymroddedig yn ngwasanaeth y ddwy swydd bwysig hyn. Yr oedd yn rhagori fel blaenor eglwysig ac hefyd fel blaenor y gân. Yr oedd ei galon yn ei waith. Gwasanaethu crefydd mewn rhyw gysylltiad neu gilydd oedd hyfrydwch mawr ei fywyd. Dyma oedd ei fwyd a'i ddiod. Yr oedd wedi cyfranogi yn helaeth o ysbryd y Meistr mawr yn hyn. Dyma oedd prif ragoriaeth a gogoniant bywyd Crist ei hun: ei ymgysegriad a'i ymgyflwyniad i weithio allan ewyllys ei Dad. "Mi a ddaethum nid i wneuthur fy ewyllys fy hun, ond ewyllys yr Hwn a'm hanfonodd." "Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd tra yr ydyw hi yn ddydd; y mae y nos yn dyfod pan na ddichon neb weithio." Bywyd o ymgysegriad yn ngwasanaeth ei Dad, bywyd i weithio gwaith yr Hwn a'i hanfonodd ef, oedd bywyd Crist; ac un felly i raddau mawr oedd bywyd ein hen gyfaill. Ymgysegrodd i weithio gwaith yr Hwn a'i hanfonodd.

3. *Meddyliwch am ei haelioni crefyddol.*

Yr oedd ganddo syniadau eang am ddyledswydd crefyddwyr i fod yn haelionus gydag achos yr Arglwydd. Y mae rhai swyddogion eglwysig yn gul eu syniadau ar y pwnc yma, ac y maent yn gulach eu gweithrediadau; ond yr oedd gwrthddrych ein sylw yn eang ei syniadau, ac yn llawn mor eang ei weithrediadau. Yr oedd ôl ei gyfoeth ar ei grefydd. Chwi a gewch rai pobl gyfoethog, sydd yn proffesu bod yn grefyddol, â mwy o ôl eu cyfoeth ar bob peth sydd yn perthyn iddynt nag ar eu crefydd. Ewch i'w tai, a chwi a ganfyddwch ôl eu cyfoeth yno; edrychwch ar eu gwisgoedd, y mae ôl y cyfoeth yn amlwg arnynt hwythau; sylwch ar eu plant, ac y mae yn ddigon hawdd i chwi ddeall mai plant bobl gyfoethog ydynt; ond edrychwch ar eu crefydd, a chwi gewch fwy o anhawsder i ganfod ôl eu cyfoeth ar hon na dim sydd yn perthyn iddynt. Ond nid felly yr oedd Mr. Peters. Nid ydwyf yn meddwl y methaf wrth ddywedyd fod mwy o ôl ei gyfoeth ef ar ei grefydd na dim byd arall oedd yn perthyn iddo. Bu efe yn dda iawn mewn ystyr arianol i'r achos mawr yn y lle hwn* am flynyddoedd lawer. Yr oedd ei dŷ fel *hotel* yn wastad yn agored i weision yr Arglwydd fyddai yn dyfod yma i wasanaethu yr achos. Yr oedd yn ffyddlawn a haelionus gyda'r holl gasgliadau; ac un o'r pethau diweddaf a glywais i ef yn ei ddyweyd oedd addaw *can' punt* at ddyled y capel. Ac nid oedd ei haelioni yn gyfyngedig i'r gynnulleidfa hon. Yr oedd efe yn anfon tanysgrifiadau blynyddol at gynnaliaeth cymdeithasau nad oedd y gynnulleidfa fel y cyfryw yn gwneyd dim atynt. Yr oedd yn haelionus ei gyfraniadau at lawer o sefydliadau elusengar dinas Caer; ac nid oedd ei haelioni yn gyfyngedig i'r ddinas hon, ond yr oedd hefyd yn garedig wrth aml i achos gwan yn y Sîr. Yr ydym yn gwybod am rai achosion fel hyn y bu yn garedig iawn wrthynt y blynyddoedd diweddaf; ond diammheu fod llawer mwy y rhai nas gwyddom ni am danynt.

Y mae yn amlwg ei fod yn ddyn oedd â chalon i roddi at achos y Gwaredwr, a hyny am ei fod yn caru yr achos; ac yr oedd yn caru yr achos am ei fod yn caru y Gŵr oedd bïa yr achos; a diammheu genym ei fod wedi clywed y Gŵr hwnw yn dywedyd wrtho cyn hyn, "Yn gymaint a gwneuthur o honot i un o'r rhai bychain hyn, i mi y gwnaethost."

4. *Meddyliwch am dano fel gwrandäwr yr efengyl.*

Yr oedd Mr. Peters yn un o'r gwrandäwyr goreu; yn wir, yr oedd yn gynllun o wrandäwr. Yr ydych chwi o'ch eisteddleoedd wedi cael mantais i weled pa fath wrandäwr ydoedd; ac yr ydym ninnau o'r pulpud wedi cael mantais i weled hyny hefyd. Yr oedd ei ddull yn gwrando yn help i'r pregethwr bregethu, ac ar yr un pryd yn help i'r gwrandäwyr wrando. Am y cyntaf, yr ydwyf yn ei wybod trwy brofiad. Bu ei ddull astud, siriol, a theimladol yn gwrando—ei "Amen," a'i "Wel, wel," yn fy nghynnal lawer gwaith; ac y mae yn wir ddrwg iawn genyf feddwl na châf byth weled ei wyneb na chlywed ei lais ef mwy. Am yr ail, yr ydwyf wedi clywed rhai o'n

* John Street, Caerlleon.

gwrandäwyr yn dywedyd fod gweled Mr. Peters yn gwrando mor dda, ac yn ymddangos yn mwynhâu y pregethwr gymaint, wedi bod yn foddion i'w deffro hwythau i wrando yn fwy astud, ac i geisio yr un mwynhâd. Hwyrach y goddefir i ni ddyweyd yn y fan yma fod yn bwysig iawn pa fodd y bydd pobl y sêdd fawr yn gwrando, oblegid y maent hwy yn fynych yn cael edrych arnynt fel cyfryngau rhwng y pregethwr a'r gynnulleidfa, ac hefyd rhwng y gynnulleidfa a'r pregethwr.

Y mae yn sicr fod llawer o honom wedi bod yn y pulpud yma yn ceisio pregethu yn nghlywedigaeth Mr. Peters heb fod yn deall trefn Duw i gadw cystal ag yr oedd efe yn ei deall, ac yn ddiammheu heb fod yn meddu ei brofiad o'i adnabyddiaeth ef o'r drefn; ac eto efe a wrandawai yn siriol, ac a dderbyniai fendith yr Ysbryd trwy y genadwri. I wneyd hyn, y mae yn rhaid ei fod yn edrych tu hwnt i'r pregethwr. Edrychai ar ei genadwri fel cenadwri oddiwrth Dduw, a derbyniai hi fel y cyfryw. Yr oedd yr efengyl yn y wêdd symlaf arni yn drech nag ef. Gwelsom ef yn plygu dani lawer gwaith. Ceisiwch ei efelychu fel gwrandäwr.

5. *Meddyliwch am ysbrydolrwydd ei feddwl.*

Yr oedd yn ddyn oedd yn byw yn ymyl Duw, ac yn gweled Duw ymhob peth. Yr oedd yr elfen yma yn ei gymeriad yn dyfod i'r golwg yn amlwg yn ei *ymddyddanion.* Pan yr hysbysid ef fod rhywbeth neillduol wedi cymeryd lle, rhyw ddamwain wedi dygwydd, neu rywun wedi marw yn sydyn, y gair cyntaf a ddywedai, fel rheol, a fyddai, "Y Brenin Mawr." Yr oedd ei feddwl mor ysbrydol fel y byddai yn rhedeg ar ei union at y Llywodraethwr Mawr heb ymddyrysu gydag ail-achosion. Pan yn ymddyddan am sefyllfa y tywydd ar bryd hau a phryd medi, byddai yn wastad yn myned trwy y cyfan at Dduw, ac yn cydnabod fod "y cwbl sydd mewn bod dan ei awdurdod ef." Yr oedd yn dilyn pob ffrŵd i'r ffynnonell fawr o ba un yr oedd yn tarddu, sef daioni y Brenin Mawr.

Yr oedd ysbrydolrwydd ei feddwl yn dyfod i'r golwg hefyd mewn modd neillduol yn ei *weddïau.* Yn y cyfarfod gweddi nos Wener y byddem ni yn cael y cyfleusdra i geisio cydweddïo âg ef. Mor syml, mor goeth, mor eang, ac mor ysbrydol y byddai ei weddïau yn y cyfarfodydd hyny. Teimlai ei hun yn bechadur mawr a llygredig, ond amlygai ar yr un pryd ffydd gref mewn Ceidwad mawr. Yr oedd yn hawdd deall wrth wrando arno yn gweddïo yn y cyhoedd ei fod yn ŵr mawr gyda Duw yn y dirgel. Y dirgel ydyw y ffordd i'r cyhoedd, ac nid oes genym hawl na chymhwysder i fod yn y cyhoedd gyda chrefydd os nad ydym yn rhai mawr gyda Duw yn y dirgel. Yr oedd defnyddioldeb Mr. Peters yn y golwg yn sylfaenedig ar gymundeb ei ysbryd â Duw o'r golwg; ac yr oedd yn hawdd gweled yn ystod blynyddoedd diweddaf ei fywyd, yn enwedig oddiwrth ei ymddyddanion, ei anerchiadau, a'i weddïau, ei fod yn addfedu yn brysur i fyned i wlad well i fyw.

6. *Meddyliwch am gyfanrwydd ei grefydd.*

Yr oedd crefydd Mr. Peters yn grefydd gron—crefydd *round,* fel y byddai yr hen bobl yn dyweyd. Beth ydyw crefydd *round?* Dyn yn deall crefydd, dyn yn teimlo crefydd, a dyn yn byw crefydd.

*(a)* Yr oedd ein hanwyl frawd yn *deall* crefydd yn dda. Yr oedd yn meddu syniadau eglur a chlir am drefn Duw i gadw pechadur. Yr oedd yn meddu "sicrwydd deall." Yr oedd ganddo rai o'r llyfrau goreu yn yr iaith Gymraeg a'r iaith Saesoneg i'w helpu i ddeall crefydd. Yr oedd ganddo lyfrau lawer, a'r rhai hyny yn cynnwys hufen duwinyddiaeth yr oesoedd. Nid fel *ornaments* yr oeddynt gandde, ond yr oedd yn mynu amser i'w darllen a'u hastudio. Yr oedd wedi bod yn ddyn darllengar ar hyd ei oes, a pharhaodd felly hyd y diwrnod y bu farw. Yr oedd y diwrnod hwnw yn darllen *Geikie's Life of Christ,* a chyn diwedd y dydd yr oedd "gyda Christ, yn ei weled fel ag y mae." Yr oedd ganddo lawer o lyfrau yr hen Buritaniaid, ac yr oedd yn hoff iawn o honynt, ac yn bur gyfarwydd â hwynt. Ond er ei hoffder o lyfrau eraill, Gair Duw oedd yr uchaf ganddo, ac unrhyw lyfr na byddai yn gydfynedol â'r athrawiaeth iachus a ddysgir ynddo ni chai fawr o groesaw gan Mr. Peters. Perthyn i'r *orthodox evangelical school* yr oedd.

*(b)* Nid yn unig yr oedd yn deall crefydd, ond yr oedd hefyd yn ei *theimlo.* Nid gwirioneddau meirw ac egwyddorion difywyd yn ei ddeall oedd ei grefydd, ond gwirioneddau ac egwyddorion byw yn ei galon. Yr oeddynt yn cael meistrolaeth lwyr, nid ar ei ddeall yn unig, ond hefyd ar ei deimlad. Chwi a gewch ambell i ddyn yn rhyw *stoic* crefyddol. Y mae ganddo ben goleu, ond nid oes ganddo galon deimladol. Y mae ambell un i'w gael yn ein dyddiau ni fel ag yr oedd gynt yn eglwys Ephesus: yn ddigon gofalus am burdeb yr athrawiaeth, ond wedi colli eu "cariad cyntaf," ac wedi syrthio i ryw uniongrededd oeraidd a ffurfiol; ond nid felly ein hanwyl gyfaill. Yr oedd ei grefydd ef yn cael ei nodweddu gan deimlad calon yn gystal a goleuni pen.

*(c)* Nid yn unig yr oedd yn deall ac yn

teimlo crefydd, ond yr oedd hefyd yn *byw* crefydd. Yr oedd yn byw crefydd gartref ac oddicartref. Oddicartref y darfum i ei adnabod yn bersonol gyntaf erioed, er fod ei enw yn adnabyddus i mi o'r blaen; a chrefydd oedd wedi ei ddwyn oddicartref y tro hwnw. Yn Edinburgh y cyfarfyddais âg ef y waith gyntaf erioed yn ngwanwyn y flwyddyn 1874; a'r hyn oedd wedi ei ddwyn i Scotland y tro hwnw ydoedd awydd cael mwynhâu gweinidogaeth Moody a chaniadaeth Sankey. Pa le bynag yr oedd efe i'w gael, pa un bynag ai adref ai oddicartref, pa un bynag ai yn ei deulu ai yn ei *shop*, ai yn yr eglwys,—ymha gysylltiad bynag yr oedd i'w adnabod,—yr oedd yn cario argyhoeddiad dwfn i bob cydwybod ei fod yn ddyn oedd yn gweithio allan yn ymarferol yn ei fywyd egwyddorion mawrion y grefydd Gristionogol.

Yr oedd cyfanrwydd yn nodweddu ei grefydd. Yr oedd yn *deall*, yn *teimlo*, ac yn *byw* crefydd; ac y mae yn anhawdd gwybod ymha un yr oedd yn rhagori gan mor gyfan yr oedd ymhob un o honynt. Meddyliwch am dano a dilynwch ei ffyrdd.

II. Y cynghor nesaf yn y testun ydyw, "ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt."

Mae yn ddyledswydd arnom feddwl am fywyd ein hanwyl gyfaill ymadawedig fel yr oedd yn myned i mewn ac allan yn ein plith, a cheisio ei efelychu yn ei dduwioldeb a'i ddefnyddioldeb; ond y mae yn ddyledswydd arnom hefyd, yn ol cyfarwyddyd yr Apostol, ystyried diwedd y bywyd hwnw: "gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt."

Yr oedd llaw Duw i'w gweled yn amlwg yn ei farwolaeth sydyn; ac mi obeithiaf ein bod yn gweled ei law ac yn clywed ei leferydd yn dywedyd wrthym, "Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Yr oedd trugaredd Duw yn fwy amlwg na dim arall yn amgylchiadau ei ymadawiad oddiwrthym. "Ei drugaredd ef sydd ar ei holl weithredoedd," ac yr oedd ei drugaredd mewn modd neillduol ar y weithred yma o'i eiddo yn ei pherthynas â Mr. Peters ei hun. Ni bu erioed farwolaeth fwy dedwydd: marw heb fod yn glâf ond am ryw awr neu ddwy. Dechreuodd deimlo yn anhwylus tua chwech o'r gloch, ac yr oedd yn y nefoedd erbyn hanner awr wedi wyth yr un noswaith. Nid marw ydoedd, ond huno. Syrthiodd i hûn yn yr Iesu heb wybod iddo ei hun; ac ni byddai yn anhawdd genyf gredu ei fod yn synu ato ei hun pan gafodd ei hun yn y nefoedd gyda'r Iesu, a llu o'i hen gyfeillion. Dymunol fuasai cael ymgom âg ef wedi iddo gyrhaedd "y wlad well." Pe buasai rhyddid i'w gwestiyno, buaswn yn gofyn iddo pa fodd yr oedd yn teimlo ar ei fynediad cyntaf i'r nefoedd, pwy a welodd efe, pa faint a welodd oedd yn ei adnabod, a welodd efe ei fam a'i cysegrodd i'r Arglwydd pan yn faban, a welodd efe ei briod hoff ac Edward ei fab duwiolfrydig? A ydyw wedi dyfod o hyd i John Parry, hen weinidog parchus yr eglwys yma? Tybed fod William Williams wedi cael hamdden i ofyn iddo pa fodd yr ydym yn dyfod ymlaen gyda'r achos mawr yn John Street? Onid ydyw Thomas Griffith wedi bod yn ei holi beth ydym yn wneyd gyda dyled y capel, a pha fodd yr ydym yn dyfod ymlaen gyda'r casgliadau? A ydyw wedi gweled ei hen gyfeillion, ai ynte a ydyw wedi ymgolli i'r fath raddau yn yr olwg ar y Ceidwad mawr fel nad ydyw wedi cael hamdden i weled ac ymddyddan eto â hwy?

Cyfaddas iawn ydyw yr adnod sydd ar ei *mourning card*: "Ystyr y perffaith, ac edrych ar yr uniawn; canys diwedd y gŵr hwnw fydd tangnefedd." Yr oedd yn berffaith ac uniawn yn ystyr ysgrythyrol y geiriau hyny pan yma ar y ddaear, a'i ddiwedd yn ddiammheu oedd tangnefedd. Yr oedd ei fywyd gyda Christ yn Nuw, pan yr oedd o ran ei berson gyda ni ar y ddaear; ond erbyn heddyw y mae efe ei hun gyda Christ yn Nuw. Yr oedd yn anmhosibl i'w fywyd ddybenu yn un màn arall. Yr oedd cymaint o'r nefoedd yn ei enaid ar y ddaear fel nad oedd yr un màn yn llywodraeth Duw i'w enaid fyned iddo wedi gadael y ddaear ond y nefoedd. "Ystyriwn ddiwedd eu hymarweddiad hwynt."

---

## GWEDDI YN EI PHERTHYNAS A PHETHAU TYMMOROL.

*(Papyr a ddarllenwyd yn Nghymdeithas Lenyddol Pendleton.)*

Y MAE yn debyg fod rhai o honoch wedi darllen y llythyrau a ymddangosasant yn yr *Examiner & Times* (Manchester) dro yn ol, pan y cafwyd dadleuaeth faith ar y mater hwn. Hònai un blaid fod yn briodol i ddynion, pan y mae trallodion tymmorol yn eu gorddiwes, megys gwlybaniaeth mawr, neu sychder, afiechyd dinystriol, a'r cyffelyb, droi at Dduw mewn ymostyngiad, gan erfyn arno eu symud. Dalient fod y Brenin mawr wedi ac yn defnyddio moddion o'r fath i geryddu a chosbi dynion o herwydd eu pechodau, a'i fod hefyd mewn atebiad i weddi wedi estyn ymwared i rai mewn cyfryw amgylchiadau. Dangosent trwy hanesion, bygythion, addewidion, a thystiolaethau'r Bibl fod Duw weithiau yn ffordd ei gyfiawnder, ac

weithiau yn ffordd ei drugaredd, yn defnyddio pethau naturiol i gyrhaedd amcanion ei lywodraeth foesol ar ddynion,—ac o herwydd hyny fod y pethau a nodwyd yn destynau priodol i'w gweddïau ger bron Duw. Dadleuai y blaid arall mai oferedd ydyw i rai weddïo ynghylch y pethau hyn, mewn dysgwyliad am gael atebiad i'w gweddïau. Er engraifft, oferedd, meddent, ydyw gweddïo am gyfnewidiad yn y tywydd, gan fod sychder a gwlybaniaeth yn cael eu hachosi trwy weithrediadau deddfau sefydlog ac anmhlygadwy, nad yw eu Crëwr byth yn ymyryd â hwynt. Oferedd hefyd, ebent hwy, i ddyn claf ddysgwyl am adferiad iechyd fel atebiad i'w weddi. Dywedent fod hyny yn dibynu yn hollol ar fedrusrwydd y meddyg yn cymhwyso y cyfferiau priodol at ei afiechyd. Gan mai effeithiau camymddygiadau tuag at ddeddfau iechyd ydyw heintiau a chlefydon, dywedant, mai yr unig ffordd i'w symud ydyw, trwy wneyd i ffordd â'r achosion. Ond nis ymwrthodai y rhai hyn â gweddi yn gwbl mewn amgylchiadau o'r fath. Ystyrient fod gweddïo yn fuddiol, o herwydd y dylanwad a achosai y weithred ar feddwl y gweddïwr, ac felly, fod un yn derbyn, neu yn cael lles ysbrydol neu foesol, er nas gallai ddysgwyl am y fendith dymmorol ag y gweddïai am dani.

Os nad wyf yn camgymeryd, dyna ydyw syniad *Verax* am weddi, yn gystal ag eiddo Proffeswr Tyndal, yn ol yr eglurhâd a roddodd o'i olygiadau ar hyn, yn yr ail lythyr a gyhoeddodd yn y *Contemporary Review*, rai blynyddau yn ol. Wrth feddwl am y ddau foneddwr hyn tueddir fi i sylwi, er fod un yn llenor rhagorol, a'r llall yn wyddonydd enwog, eto fod y ddau fel eu gilydd yn athronwyr gwael, ac yn dduwinyddion gwaelach! Mynai yr olaf ddwyn gweddi i ymbrawf, neu yn hytrach, gwneyd ymbrawf o Dduw fel gwrandäwr gweddi. Gan nad ydyw o un dyben cyfarfod âg ef, nac â'r rhai a gydolygant âg ef, gydag ysgrythyrau,—oblegid mai rheswm dynol ydyw eu prif, os nad eu hunig faen prawf, gadewch i ni weled a deall y sefyllfa ag y maent wedi ei chymeryd, yn ngwyneb rheswm.

Fe gydnabyddir fod gweddïo yn reddf naturiol i greadur dibynol fel dyn. Y mae mewn anghen, ac y mae gweddïo ar Dduw, neu draethiad gwirfoddol o'r anghenion a deimla, mor naturiol ac anocheladwy iddo, âg unrhyw weithred arall, —fel eiddo anifeiliaid ieuainc, neu blant bychain, yn eu hapeliadau at eu rhïaint. Yn awr, a wna Tyndal, Verax, neu rywun ddyweyd wrthym am un engraifft yn nghreadigaeth Duw, lle y mae greddf wedi ei phlanu heb ddarpariaeth ar ei chyfer yn y byd oddiallan? Y mae gan blentyn newydd-eni chwennychiad greddfol am laeth, ac mae y cyflenwad i'w gael yn mronau ei fam. Y mae pob greddf yn cyfeirio at ffaith allanol, sydd yn cyfateb i'w chwennychiadau. Y mae hyn mor sicr â dim a ddysgir gan wyddoniaeth. Un o ffeithiau gwyddoniaeth ydyw. Os ydyw hyna yn wirionedd, yna mae y reddf i weddïo yn yr enaid dynol yn mynegu yn anffaeledig am ddarpariaeth yn y trefniadau Dwyfol i'w chyfarfod yn ei hanghenion; ac mae y ddarpariaeth yma yn gymaint rhan o'r gyfundrefn ag yr ydym yn byw dani ag yw deddf pwys a thyniad. Y mae dyn yn gweddïo o herwydd fod uwchlaw traethiad greddfol ei deimlad o'i anghenion; y ffaith o Dad nefol yn wrandäwr gweddi. Yr ydym yn hawlio hyn ar sylfaen gwyddoniaeth, fel peth sydd yn cael ei ddysgu gan natur ei hun.

Ond a ydyw y reddf hon yn cyfyngu ei hun at un dosbarth o anghenion? Onid ydyw dynion yn cael eu cynhyrfu yn reddfol i ofyn am fendithion naturiol? Onid ydyw y dyn claf yn cyflwyno erfyniau am adferiad iechyd? Ai nid yw y fam yn deisyfu'r tosturi Dwyfol, pan y mae ei phlentyn yn cael ei fygwth â marwolaeth? Ai nid yw y morwr mewn llongddrylliad yn anfon cri at Dduw am waredigaeth o'i berygl? A oes gan gymundebau o ddynion mewn ardal neu wlad un sylfaen i appelio at Dduw, y Tad yr Hwn sydd yn y nefoedd, pan y mae sychder, newyn, haint, neu ryw drallodion tymmorol eraill yn nesâu atynt, neu eisoes yn eu plith yn dyfetha? Mae y reddf yn gref a chyffredinol mewn amgylchiadau o'r fath, fel y tystia holl hanes dynolryw. Anobeithia yr enaid yn aml, a byddai dyn farw, os nad allai ac na feiddiai weddïo am ymwared o'i gyfyngderau tymmorol. Os dichon i ni yn gyfreithlawn, ac os rhaid i ni o anghenrheidrwydd weddïo, yna y mae darpariaeth o fewn teyrnas natur, yn ol cynllun Duw, i roddi atebiad i'n gweddïau.

Nid digon yw dyweyd fod gweddi, er heb gael yr hyn y mae yn ei geisio, yn llesoli yr enaid â'i dylanwad dygwyddiadol, trwy ei ddyrchafu i gymundeb â Duw, a'i lanw â meddyliau mawreddog a phur. Y mae yn afresymol tybied y gall gweddi wneyd cymaint a hyn, oddieithr fod yr enaid yn credu yn ei heffeithiolrwydd fel deisyfiad; o achos pan y peidia dyn â meddwl y llwydda gweddi i gael y fendith anghenrheidiol, ac yr argyhoeddir ef gan ddysgawdwyr hanner-anffyddol nad yw gweddi ond math o fyfyrdod yn gwrthweithio ar y meddwl, er ei lês ysbrydol neu foesol, ni pharhâ yn hwy gyda'r ffurf ofer o ddeisyfu am gymhorth Dwyfol yn y

sefyllfa ag y byddo ynddi. Dyma ydyw gweddïo yn ol golygiadau y dynion hyn: un yn cyflwyno erfyniau ger bron Duw, nid mewn dysgwyliad am dderbyn dim yn uniongyrchol oddiwrtho, ond er mwyn bendithio ei hun trwy wneyd hyny! Y fath reddf hynod a raid fod hono, a gynhyrfa i weithred nad oes iddi un ystyr na defnydd uniongyrchol, ond sydd o werth dygwyddiadol yn unig. Yn debyg fel pe byddai gan faban reddf am laeth, nid er mwyn derbyn llaeth o fron y fam, ond er mwyn llechu yn ei mynwes, ac ymgynhesu yn ngwres ei chorff;—neu ynte, na byddai y reddf am laeth ond cynnorthwy yn unig i'r plentyn gysuro ei hun gyda phresennoldeb a theimlad y fam, tra y byddai ar y pryd yn marw o eisieu llaeth!

Ond paham y cyfyngir fel hyn ar weddi? Beth sydd yn nheyrnas natur yn gwneyd gweddi yn anghyfaddas? Fe allai y dywedir fod teynas natur yn cael ei llywodraethu â deddfau sefydlog, ac fod ei dygwyddiadau yn cymeryd lle mewn cydgordiad â hwynt. Y mae hyny yn wirionedd; ond y mae yn briodol dyweyd yr un peth am y deyrnas ysbrydol. Y mae iddi hithau ei deddfau sefydlog, cyfaddas i natur y meddwl, ac y mae dygwyddiadau yn cymeryd lle ynddi mewn cydgordiad â'r deddfau meddyliol hyny. Os ydyw sefydlogrwydd deddfau Dwyfol yn cau gweddi allan o'r byd materol, nid oes le iddi yn y byd ysbrydol. Ië, gan mai y deyrnas ysbrydol yw yr uchaf o'r ddwy, gellir tybied fod ei deddfau yn fwy anhawdd eu tori, neu i'w plygu, nag yw deddfau natur, ac felly eu bod yn attalfa grymusach yn erbyn gweddi, ac felly fod yn rhaid cau gweddi allan o'r deyrnas ysbrydol hefyd. Fel hyn, y mae'r ddysgeidiaeth ag yr ydym yn ei gwrthwynebu yn gwrthdroi trefn rheswm. Pan feddylia dyn am ddirgeledigaethau meddwl, teimlad, ac ewyllys, ac am yr anhawsder i gysoni y gweithrediadau Dwyfol â rhyddid y creadur, gwel fod yn llawer hawddach dirnad am weddi yn cael ei hateb yn ei pherthynas â chanlyniadau naturiol nag â rhai ysbrydol, gan fod yn hawddach gweithredu yn y deyrnas isaf nag yw yn yr uchaf. Mae y gwahaniaeth a wna y Proffeswr Tyndal yn milwrio yn ei erbyn; ac y mae ei gyfyngiad ar weddi, pe byddai yn safadwy yn un man, wedi ei gamosod. O ran hyny, gellir ammheu oddiwrth rai o'i fynegiadau, a sicrhâi fod gweddi yn derbyn un atebiad uniongyrchol oddiwrth Dduw, hyd yn nôd yn y deyrnas ysbrydol, ond ei fod ar y pryd yn cymeryd golwg ar weddi yn ei pherthynasau â natur.

Y mae yr anghenrheidrwydd tybiedig am y cyfyngiad hwn yn cyfodi oddiar gamddirnadaeth ynghylch perthynas gweddi â deddf Ddwyfol. Gan fod gweddi, fel yr awgrymwyd, wedi cael darparu ar ei chyfer yn y gyfundrefn Ddwyfol, yn gymaint a dysgyrchiant, gwefr, gwres, a goleuni mewn naturiaeth, neu feddyliad, teimlad, ac ewyllys yn nheyrnas yr ysbryd, gallwn fod yn sicr nad yw yn anghydnaws â'r galluoedd eraill. Ni bydd raid i ni feddwl, pan y mae gweddi yn gweithredu yn y naill neu y llall o'r teyrnasoedd hyn, fod deddfau'r deyrnas hono yn cael eu gosod o'r neilldu, neu yn derbyn rhyw gam. Dichon y gwneir defnydd, cydgysylltiad, a threfniad newydd o honynt, mewn modd anweledig, gan yr ewyllys a'r gallu Dwyfol, yn debyg fel ag y cynnyrchir effeithiau yn barhâus gan yr ewyllys ddynol, ymhob un o'r teyrnasoedd hyn.

Er enghraifft, meddyliwn am blentyn yn gofyn am rywbeth gan ei dad, yr hwn sydd yn penderfynu rhoddi y peth hwnw iddo. I'r dyben i foddhâu dymuniad ei blentyn, y mae'r tad yn achosi effeithiau na buasent yn cymeryd lle, oni bae y dymuniad hwn. Mae yr effeithiau hyn yn cael eu dwyn oddiamgylch trwy ddefnyddiad uniongyrchol o rai o ddeddfau natur, gwrthweithrediad rhai, a chydgysylltiad eraill. Ni a dybiwn fod afalau i gael eu casglu a'u berwi, er mwyn rhoddi i'r plentyn yn ol ei ddymuniad. Mae y tad i'r dyben o wneyd hyn, yn gwrthweithio deddf dysgyrchiant, trwy ddwyn ei gorff ei hun i weithrediad,—trwy daflu darn o bren, neu geryg i'r goeden afalau, a thrwy bigo yr afalau i fyny a'u dwyn i'r tŷ. Y mae yn defnyddio y ddeddf trwy achosi i'r afalau syrthio oddiar y goeden i'r llawr. Ac y mae yn cydgysylltu gweithrediadau amryw ddeddfau fferyllol tra yn cynneu tân, twymno'r dwfr, a berwi yr afalau. Ar ol i'r plentyn ddychwelyd y mae yn cael fod ei weddi wedi ei hateb yn anweledig iddo ef, a hyny o fewn teyrnas natur.

Yn awr, paham nas gall Duw, mor wirioneddol ac mor hawdd, ateb gweddi am bethau tymmorol, mewn modd anweledig i ni, heb attaliad ar na throseddiad o un o ddeddfau natur? Yr ydym yn gweddïo am adferiad iechyd i gyfaill neu berthynas sydd yn glaf. Nid oes un wyrth yn anghenrheidiol mewn trefn i'r weddi gael ei hateb, oddieithr mewn achos lle y mae un o beiriannau bywyd, megys yr ysgyfaint, wedi treulio. Y mae yn bosibl i'r canlyniadau gael eu dwyn oddiamgylch, trwy ddefnyddiad doeth o ddeddf naturiol, yr hyn a sicrheir gan Dduw mewn atebiad i weddi. Gall Efe weithredu yn uniongyrchol ar y galluoedd bywydol, neu ddylanwadu ar feddyliau cyfeillion y claf, fel ag i dynu eu sylw at y feddyginiaeth

briodol, neu y meddwl mwyaf melus a'r gwyliwr mwyaf gofalus a [illegible]. A wadwn ni ffaith mor gredadwy, o herwydd nas gallwn ddyweyd yn fanwl am y modd y dylanwada Duw ar feddyliau a chyrff dynion! Byddem drwy hyny yn rhoddi gormod o bwys ar anwybodaeth. Y mae rheswm a ffydd yn cytuno y gall y Creawdwr ddefnyddio ei ddeddfau ei hun, i ateb gweddiau ei blant. Nid yw Efe yn llai galluog yn yr ystyr hwn nag yw tad daearol, ond yn anfeidrol fwy felly. Os gall tad naturiol, fel ag y cyfeiriwyd ato, lywodraethu a defnyddio deddfau Duw i foddhau dymuniad ei blentyn, onid ydyw yn afresymol, ie, yn gableddus o'r mwyaf, i ddyweyd nas gall Duw ddefnyddio ei ddeddfau ei hun i ateb gweddiau ei greaduriaid! Na, y mae athroniaeth, gwyddoniaeth, a synwyr cyffredin, heb son am fynegiadau'r Bibl, yn gwrthbrofi y syniad anffyddol.

SAMUEL THOMAS.

*Salford.*

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

### PENNOD VII.

*Gwawr.*

YR ydwyf wedi dyweyd fod yn fy mam ryw fath o annibyniaeth meddwl a balchder ffol; a phe buasai yn fwy dibynol a chwynfanus, ni fuasai raid iddi hi a minnau ddyoddef nemawr o anghen. Mae arnaf ofn y rhaid i mi gyfaddef hefyd i mi ei gweled unwaith—dim ond unwaith—yn euog o anfoesgarwch ac o siarad â gŵr o urddas fel pe buasai hi gyfartal iddo, pryd mewn gwirionedd ei bod yn dyoddef angenrheidiau beunyddiol. Hyderaf y maddeuir i mi gan y cyfeillion y dichon i'r hunangofiant hwn syrthio i'w dwylaw—a hyny yn barotach am y bydd y pryd hwnw lathen o ddaear dros fy wyneb—am fy mod yn credu mai fy mam oedd y fam oreu yn y byd. Ond rhagrithiwn, ac ni byddwn ffyddlawn i fy addewid o ddyweyd y gwir, a'r holl wir, pe celwn ei gwendidau. Yr oedd hi yn un o dymherau a theimladau cryfion, a chredaf ei bod yn ymorchestu tipyn mewn "siarad yn blain." Fy mhrofiad i ydyw mai perygl rhai cyffelyb iddi, er iddynt fod yn rhagori mewn dirag rithwydd, ydyw anghofio teimladau rhai eraill, ac arddangos diffyg lledneisrwydd a chwaeth dda—nodweddion a ddylent brydferthu cymeriad pob gwir gristion.

Mewn tref fechan a distadl nid gŵr dibwys un amser ydyw "person y plwyf." Dygwydda yn fynych fod parodrwydd, hwyrach rhyw orbarodrwydd, i gydnabod pwysigrwydd y gŵr ffortunus hwnw sydd yn preswylio y ficerdŷ. Dichon hefyd fod diysgogrwydd ei sefyllfa â thuedd ynddo i beri i'r Person yntau dderbyn gyda *good grace* hyny o bwysigrwydd a roddir arno, ac weithiau dipyn ychwaneg, yn ol fel y byddo tuedd naturiol y gŵr. Nid oedd Mr. Brown yn eithriad i'r rheol gyffredin, ac os cafodd rhywun yn fy nhref enedigol fwy o barch nag a haeddai, nid Mr. Brown oedd hwnw. Gŵr tew, tagellog a rhadlawn oedd efe, ac er na fynwn ar un cyfrif awgrymu ei fod yn "rhodio yn ddynol," yr oedd yn ystyr llythyrenol y gair "yn gnawdol." Dygai nodau yn ei gorff nad oedd y fywioliaeth oedd yn werth saith cant o bunnau yn y flwyddyn wedi bod yn ddifendith iddo ef. Ac wrth i mi ddyweyd fod eraill wedi manteisio ar ei amgylchiadau cysurus, ni byddaf ond yn dadgan yr hyn y mae ei goffadwriaeth yn ei gyfiawn haeddu. Ni thrymhaodd efe ei glust rhag llef yr anghenog, ac ni fotymodd efe ei logell fel na ddelai dim o honi i'r tlawd a'r adfydus. Ynddo ef cafodd y weddw a'r amddifad gyfaill caredig, yn enwedig os arferent fyned i'r Eglwys. Er fod Mr. Brown fel pawb eraill yn gorfod teimlo mai nês penelin nag arddwrn, nid oedd yr arddwrn—sef yr Ymneillduwyr tlodion—yn gwbl anghofiedig ganddo. Pan wnaent apêl ato am gynnorthwy, os nad allai weled ei ffordd yn glir i gyfrannu iddynt o'i logell ei hun, nac o'r arian a adawsid "tra rhedo dŵr" gan yr ymadawedigion yr oedd sôn am danynt ar barwydydd yr Eglwys—byddai efe yn ddieithriad yn rhoi gair drostynt gyda rhyw *guardian* neu gilydd ar iddynt gael ychydig geiniogach o'r plwyf. Os byddai ar rywun anghen am lythyr cymeradwyaeth, at Mr. Brown yr elai i'w ymofyn. Ni fyddai un symudiad trefol o bwys yn berffaith heb fod enw Mr. Brown ynglŷn âg ef. Gan nad pa faint oedd toster cymmalwst yr hen ŵr crynedig, a'r hen wraig gefngam, yr oedd yn rhaid tynu yr het a threthu y garau i gwrcydu i Mr. Brown pan gyfarfyddent âg ef. Yr oedd segurwyr a'r dynion hyny sydd bob amser i'w cael yn nghonglau yr heolydd, ac nad ŵyr neb pa fodd y maent yn byw, pan welent Mr. Brown, yn y fan yn peidio a'u cellwair, ac yn cuddio eu pibellau yn nghil eu dyrnau, ac yn rhoi y llaw wrth yr het pan elai Mr. Brown heibio. Yr oedd rhyw

barchedigrwydd, neillduolrwydd, cyfaredd, neu rywbeth nad allaf gael enw arno, ynglŷn ac o amgylch Mr. Brown bob amser. Credaf fod pawb y pryd hwnw yr un mor analluog ag ydwyf finnau yn awr i ddarnodi y *peth hwn*. Rhywbeth yn yr awyr ydoedd yn effeithio ar bawb, ïe, hyd yn nôd ar Ymneillduwyr. Yr wyf yn cofio i Mr. Brown *unwaith* anrhydeddu cyfarfod y Fibl Gymdeithas gyda'i bresennoldeb; a phan wnaeth ei ymddangosiad ni fu erioed y fath guro traed a dwylaw. Bu agos i rai yn eu llawenydd golli eu gwynt ac anghofio eu hunain. Mae yn ffaith fod amryw Ymneillduwyr, heb son am Eglwyswyr, wedi tywallt dagrau o lawenydd ar yr amgylchiad. Diammheu genyf mai y rheswm am yr amlygiad neillduol hwn o deimlad ar ran y gynnulleidfa, oedd ei pharch diffuant i'r Hen Lyfr, wrth feddwl fod gŵr o safle ac urddas Mr. Brown wedi ei ennill drosodd i dalu gwarogaeth i'r Gymdeithas, amcan pa un oedd rhoi

"Bibl i bawb o bobl y byd."

Yn y cyfarfod hwnw ni ddarfu i Mr. Brown siarad ond ychydig eiriau (ni fedrai heb lyfr); ond yr oedd efe yno, ac yr oedd hyny yn siarad cyfrolau; a pharai y ffaith i rai, a dybid eu bod yn deall arwyddion yr amserau, led obeithio fod y milflwyddiant heb fod ymhell.

Ac eto nid oedd Mr. Brown ei hun ond gŵr dysyml; a phe cawsai ambell un y warogaeth a delid iddo ef buasai wedi colli ei ben. Cyfaddefai hyd yn nôd ei edmygwyr penaf fod ynddo un *drawback*, sef *nad allai bregethu*. Araf a phoenus oedd ei draddodiad; ond fel dyn call gofalai bob amser am beidio blino ei wrandäwyr â meithder, ac yr oedd ganddo arferiad pan yn ei bulpud o droi gwŷn ei lygaid i fyny, yr hyn i rywrai oedd "cystal a phregeth." Heblaw hyny, yr oedd yr ychydig ddiffyg yn y pulpud yn cael ei wneyd i fyny, a mwy hwyrach, gan y ffaith fod Mr. Brown yn Ustus Heddwch. Yr oedd y cymeriad olaf yn rhoddi iddo ddylanwad ar rai na fuasai byth yn eu cyrhaedd o fewn muriau yr Eglwys. Pan gyfarfyddai "Ned y *Poacher*" ef ar yr heol byddai yn gwneyd llygaid *sly* ar Mr. Brown; ac yr oedd yn hawdd gweled ar wyneb Ned ei fod yn teimlo yn euog fod ganddo bocedau mor lydain tu mewn i *skirts* ei *jacket velvet*. Byddai "Twm feddw" hefyd yn fynych, pan fyddai yn rhy ddall i allu gweled neb arall, mewn modd rhyfedd yn canfod Mr. Brown o hirbell, ac wedi *staggro* am eiliad ac edrych drwy ei lygaid hanner agored megys drwy niwl, yn gwneyd ymdrech egnïol i gerdded yn syth nes i Mr. Brown fyned heibio. Oni b'ai fod Mr. Brown yn y cymeriad o ustus yn dyfod i gyfarfyddiad mynych â r cymeriadau hyn, ar fore Llun yn y *County Hall*, ni fuasai ganddo ddim dylanwad arnynt. Heb i mi fanylu, yr oedd Mr. Brown fel hyn yn ŵr o ddylanwad mawr ymhob cylch; a dywedid nad oedd arno ofn neb oddieithr gŵr y Plâs. Yr wyf yn gorfod dyfod i'r casgliad fod Mr. Brown yn ŵr lled agos i'w le, onidê ni fuasai fy mam yn synied mor uchel am dano; oblegid, fel yr awgrymais fwy nag unwaith, yr oedd ei rhagfarn hi yn erbyn pobl Eglwys Loegr yn enbydus. Ond am Mr. Brown, clywais hi yn ei ganmawl lawer gwaith, ond gofalai am gymedroli y ganmoliaeth gyda'r ymadrodd—"fel cymydog." "Fel cymydog" yn unig y rhoddai hi iddo air da, ond pan soniai am grefydd ni phetrusai ddadgan ei hofnau nad oedd Mr. Brown wedi "profi y pethe mawr." Un tro gwnaeth fy mam sylw ar Mr. Brown na ddarfu i mi byth ei anghofio. Pan oedd hi un diwrnod yn canmol pregethwr Methodistaidd wrth Marged Pitars, yr hon oedd Eglwyswraig, dywedodd Marged, "Mae Mr. Brown nine yn berson da anwêdd, ond feder o wneyd fawr o'r pregethu 'ma." Ac ebe fy mam, "Mae hyny yr un peth yn union, Marged, a bydae chi'n deyd fod James Pwlfford yn deiliwr da, ond na feder o ddim pwytho." Rhaid fod Marged wedi teimlo grym y sylw, oblegid, fel y dywedir weithiau yn Nhŷ y Cyffredin, "*the subject then dropped.*"

Fel y gallesid dysgwyl, ni ddarfu i waith Mr. Brown a gŵr y Plâs euogfarnu fy mrawd a'i anfon i'r carchar, ychwanegu dim at barch fy mam i'r blaenaf, yn gymaint fel y credai hi fod yr ustusiaid yn yr amgylchiad hwnw wedi arddangos dallineb barnol a phrysurdeb anfaddeuol. Pa un ai ei ofal am danom fel ei blwyfolion, neu ynte teimlad o euogrwydd o herwydd y rhan a gymerasai yn anfoniad Bob i'r carchar, a barodd i'r gŵr parchedig ymweled â ni yn ein hadfyd, nid wyf yn gallu sicrhâu. Boddlawn iawn ydwyf i gymeryd yr olwg oreu ar ei ymddygiad, ac i gredu fod ei amcan yn gywir a chanmoladwy; ac wrth alw i'm cof ei ymweliad â ni, mae arnaf gywilydd o'r derbyniad a gafodd gan fy mam, yn enwedig pan feddyliwyf pa mor barchus oedd Mr. Brown gan y bobl yn gyffredin. Hwyrach y dylwn ddyweyd, er fod Mr. Brown yn Gymro o ochr ei fam, nad rhyw berffaith iawn y siaradai efe yr hen Omeraeg.

"Bore da, Mrs. Lewis," ebe ein ficer, gan chwythu yn drwm drwy ei ffroenau, fel pe buasai yn methu cael digon o anadl i ddiwallu y fegin fawr oedd o'i fewn, a chan sychu y chwys oedd yn berwi allan o'i wyneb coch a'i war llyfndew.

"Bore da," ebe fy mam, yn gwta ddigon,

heb ostwng dim ar ei gârau, na gwneyd un arwydd o warogaeth, na chymaint a gofyn iddo eistedd. Ond eisteddodd Mr. Brown heb ei ofyn ar hen gader oedd yn ei ymyl, a'r hon fel yr oll o'i chyfoedion yn ein tŷ ni oedd yn hynod fregus; a dysgwyliwn yn ofnus bob mynyd ei gweled yn ymollwng o dan y llwyth oedd arni, ac yn fwy felly am fod y gader yn anesmwyth iawn, ac yn gwichian fel hen fasged.

Ar ol ychydig o ddystawrwydd poenus, ebe Mr. Brown,—

"Mae hi yn diwrnod braf heddyw, Mrs. Lewis?"

"Mae'r diwrnod yn burion, Mr. Brown; bydae pobpeth cystal a'r diwrnod fydde raid i neb gwyno," ebe fy mam yn sychlyd, gan ddechreu pletio ei ffedog, yr hyn oedd arwydd bob amser fod ganddi rywbeth ar ei meddwl eisieu ei ddyweyd.

"Sut ydach chi'n dwad ymlaen fel ma pethe rwan, Mrs. Lewis? Ydach chi yn cael digon o bwyd?" gofynai Mr. Brown yn dyner.

"Yr ydw i yn dwad ymlaen yn well na fy haeddiant, ac wedi cael digon o fwyd i gynnal corff ac ened wrth 'u gilydd; ond does gen i neb i ddiolch iddo am hyny ond yr Hwn sydd yn porthi cywion y gigfran, ac yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn," ebe fy mam.

"Chi yn gneyd yn da iawn, Mrs. Lewis, nabod llaw y Brenin mawr," ebe Mr. Brown.

"Mi obeithiwn mod i; ond wrth gydnabod llaw y Brenin mawr, fedra i ddim cau fy llygaid rhag gweled llaw rhywun arall hefyd. Doedd y bobl druain gynt oedd yn gweled llaw Duw Isrel ddim heb wybod rhywbeth am Pharaoh hefyd," ebe fy mam, yn dreiaiyd.

"Ië, dyn drwg iawn oedd Pharaoh, Mrs. Lewis," ebe Mr. Brown.

"Drwg ei wala," ebe fy mam, "ac ysywaeth os boddwyd o, foddwyd mo'i blant o yn y Môr Coch; ac mae lle i ofni fod rhai o'i eppil ef ac Og, brenin Basan, yn dal i flino pobol Dduw hyd y dydd hwn, er fod y Bibl yn deyd na adawyd i Og weddill."

"Chi yn gwbod llawer o'r Sgrythyr, Mrs. Lewis," ebe Mr. Brown yn ganmoliaethus.

"Mae arnaf ofn, Mr. Brown," ebe fy mam, "y mod i fel llawer eraill yn gwybod mwy nag ydw i yn ei neyd. Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt fraint yn mhren y bywyd, ac y gallont fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas."

"Rhaid i ni gyd trio cadw y gorchymynion, Mrs. Lewis, ne cawn byth myn'd i'r bywyd," ebe ein hymwelydd.

"Rhaid," ebe fy mam, "fel rheol buchedd; ond nid awn i byth i'r bywyd er eu cadw nhw. Mi wn i gymin a hyn o dduwinyddiaeth, fod hi wedi cau arnon ni am byth yn Sinai, ac os ydan ni yn meddwl am fyn'd i'r bywyd fod yn rhaid i ni droi i rywle arall am sail ein gobaith. Dyna'r fel mae'r Bibl a Fforddwr Charles yn 'i ddysgu, ac yr ydw i yn 'u credu nhw, beth bynag y mae'r Common Praur yn i ddysgu; dydw i yn deyd dim am hwnw."

"Chi pobol y capel yn gwybod dim am y *Common Prayer*. Mae y *Common Prayer* yn llyfr da iawn, Mrs. Lewis, run fath a'r Bibl," ebe Mr. Brown."

"Dydw i yn deyd dim am eich Common Praur chi, Mr. Brown, ond mi ddeyda hyn mai llyfr Duw ydi 'r Bibl, a does gen i ddim ofn deyd hefyd mai 'r llyfr nesa ato fo ydi Fforddwr Charles, a bydawn i byw am gan mlynedd feder neb altro fy meddwl i am hyny," ebe fy mam yn danbaid.

Gwenodd Mr. Brown ar ddiniweidrwydd fy mam, ac ebe fe,—

"Wel, mi gadawn i hyny bod, Mrs. Lewis. Bydda i yn leicio gweled pobol yn zelog; ond roeddwn i yn meddwl am danoch chi sut oeddach chi yn dwad ymlaen rwan mae Robyt yn *jail*, oeddach chi yn cael digon o bwyd, chi a'r bachgen yma; ac er nad ydach chi ddim yn dwad i'r Eglwys, oeddwn i yn meddwl, Mrs. Lewis, rhoi tipyn o—o *assistance* i chi, ne cael tipyn o'r plwy i chi nes i Robyt dwad yn ol."

Dywedodd Mr. Brown y geiriau hyn mewn modd caredig; ac nid wyf yn amheu nad oedd efe yn cydymdeimlo yn fawr â fy mam a minnau yn ein caledi. Ond cyffyrddodd ei ymadroddion â thant yn natur annibynol fy mam, a barodd iddi ei gyfarch mewn dull a dybiwn i y pryd hwnw yn anfoesgar, ac yn gwbl anmhriodol i ŵr o safle a pharch Mr. Brown. Yr wyf yn meddwl y gallaf gofio yr hyn a ddywedodd hi wrtho air am air.

"Mr. Brown," ebe hi, "dydw i ddim yn gwybod ond am Un fedr roi briw a'i wella fo, a feder dafiu i lawr a chodi i fyny; ac os daethoch chi yma gyda'r meddwl o roi plaster ar y dolur ddaru i chi achosi, mae'ch neges yn ofer. Cic a chusan ydw i yn galw peth fel yna, Mr. Brown. Wedi i chi roi fy machgen diniwed yn *jail*, mi fydde yn o arw gen i dderbyn dim help gynoch chi, bydded y nghledi i y peth y bytho. Hwyrach y deydwch chi y mod i yn hy, ac felly yr ydw i; ond y mae yn rhaid i mi gael deyd y peth sydd ar I meddwl i, a mi deimla'n sgafnach ar ol i ddeyd o. Yr ydw wedi synu atoch chi, Mr. Brown! Roeddwn i yn arfer meddwl yn dda am danoch chi fel cymydog—ond —bydae fater gynoch chi am hyny—yr ydach wedi myn'd i lawr ddeg o raddau

n fy meddwl i. Yr ydw i meddwl y mod yn styried hefo pwy yr ydw i yn siarad—chos fel y deydodd Tomos o'r Nant—

'Nid oes un i'w ganmol na 'i berchi 'n gymhwys,
O flaen efengylaidd weinidog eglwys,
Nac un o fwy melldith na hwnw 'n fyw,
Oni fydd Duw yn ei dywys."

dydw i ddim yn meddwl, Mr. Brown, od Duw yn eich tywys chi i gymdeithasu c i gydweithredu hefo nu fel gŵr y Plâs, yn nad ydi o'n meddwl am ddim ar affeth ion y ddaear ond am ei gyffyle rasus a'i ŵn hela a'i gêr."

"Mrs. Lewis! Mrs. Lewis!" ebe Mr. Brown yn synedig.

"Mary Lewis ydi fy enw i, Mr. Brown, wreigan dlawd, a 'does gen i ddim eisio ael fy meistresu, os gwelwch chi'n dda. Ond mi deyda fo eto—nid ych lle chi ydi od ar y fainc yn gwrando pob achos glân budur. Mae gan offeiriad ddigon o waith edrach ar ol eneidiau ei wrandäwyr, os ydd hyny ar ei galon o, heb fyn'd i myrth â phethe eraill; a bydaswn i'r frenines ni faswn yn deyd wrth bob offeiriad, a hregethwr hefyd o ran hyny, fel y deydodd yr Arglwydd ar fater arall—a mater y yddai yn dda i chi a mine feddwl mwy m dano,—'Beth sydd i ti a fynegech ar y neddfau?"—a mi faswn. Yr oedd Paul yn ei argyhoeddi ar y ffordd i Damascus, llon'd ei bocedau o symansiau i roi pobol da yn y carchar; ond ar ol y tro mawr ni wranta i fod o wedi lluchio ei bapyrau dros y gwrych, a chlywodd neb byth am dano fo yn rhoi neb yn y *jail* ar ol hyny—oedd ganddo reitiach gwaith o lawer i'w deyd. A pheth arall, Mr. Brown, wn i ddim sut yr ydach chi yn dysgwyl bendith, ac yn gallu rhoi cwsg i'ch llygaid na hûn 'ch amrantau, pan y gŵyr ych calon chi rbyn hyn fod chi wedi gyru bachgen diiwed i'r *jail*—bachgen—nid am i fod o'n ab i mi yr ydw i yn deyd hyny—a chyna o fwy yn ei ben nag ambell un sydd yn meddwl ei hunan yn rhywbeth; a bachgen—er nad ydi o, ysywaeth, yn proffesu crefydd—na feder neb ddeyd dim yn erbyn i fuchedd. 'Does gen i ddim eisio brifo teimlade neb—ond phrofodd *y machgen i* erioed ddafn o ddiod feddwol, a fu o rioed yn y Red Dragon yn chware *bwgwdhel*—ne beth bynag ydach chi yn i alw fo. Ac er nad ydi machgen i ond *collier* cyffredin, yr ydw i yn meddwl cymin o hono fo ag y mae pobol eraill yn feddwl o'u plant sydd wedi 'u dwyn i fyny yn y bordin sgŵl, a'u dysgu i wâgsymera ac i borthi balchder a gwyniau a chwantau y cnawd, a mi rydw i. A fase raid i neb son wrtha i am help o'r plwy bydase chi, Mr. Brown, a gŵr y Plâs heb roi fy machgen i yn y *jail* ar gam; a mi obeithia y ca i eto fy nghadw rhag myned ar y plwy, er fod yn dda i lawer gael y plwy. Ond am fyn'd i'r Eglwys, nid ä i byth yno. Fel y gwyddoch chi, mi fum yn myn'd yno droiau ar gyfarfod diolchgarwch; ond rhaid i mi ddeyd wrthoch chi yn onest na ches rioed ddim i fy ened yno. Methodus ydw i wedi bod erioed, a thrwy gymhorth gras Methodus a fydda i byth; a mi dreia 'i gwydnu hi nes y daw y machgen i yn ei ol heb help gan na phlwy na pherson."

Traddododd fy mam yr anerchiad hwn yn llithrig a chydag yni, a gwisgai ei hwyneb ysgorn gwywol na welais mo honi yn ei ddangos cynt nac wedi hyn. O herwydd fy mod yn ofni yn barhâus i'r gader dori o dan Mr. Brown, ac fod arnaf gywilydd mawr o hyfdra fy mam, yr oeddwn yn chwys dyferol, a da gan fy nghalon oedd ei chlywed yn rhoi pen ar ei haraeth. Edrychai Mr. Brown yn synedig a chlwyfedig, ac nid heb achos. Ond nid gŵr oedd efe i amddiffyn gweithred, hyd yn nôd o'i eiddo ei hun, os gwyddai ei bod yn anghyfiawn. Yr oedd fy mam yn adnabod Mr. Brown yn ddigon da i fod yn hyderus yn hyn. Gwyddai hi hefyd, os oedd y gred yn gyffredinol yn y dref fod Bob a'i gydymaith John Powell wedi eu traddodi i'r carchar ar gam, nad oedd neb yn fwy hysbys o hyny na Mr. Brown ei hun, oblegid nid oedd efe un amser yn ddyeithr i'r *public opinion*. Ni cheisiodd Mr. Brown amddiffyn ei hun; a phan gyfododd efe ar ei draed teimlais ollyngdod mawr, canys yr oeddwn erbyn hyn yn sicr na thorai y gadair odditano. Cyn ymadael ebe fe braidd yn sarug,—

"Daru neb erioed siarad fel ene hefo fi o'r blaen, Mrs. Lewis; a hwyrach y byddwch chi isio *assistance* gynaf fi eto."

"Dydw i'n ammheu dim," ebe fy mam, "am y peth cynta ddeydsoch chi, Mr. Brown, achos mi obeithia na roesoch erioed o'r blaen fachgen diniwed yn y *jail;* a dydi o harm yn y byd i chi gael clywed tipyn o wir weithiau, ac yr ydw ine yn teimlo yn fwy bethma ar ol cael ei ddeyd o. Ac am y peth ola', sef y do i ar ych gofyn chi eto, 'does gen i ond ymddiried yn nhrefn Rhagluniaeth am hyny; ond os byth y do i ar ych gŵd marsi chi, mi ellwch fod yn siwr y bydda i wedi trïo pawb arall yn gyntaf."

Aeth Mr. Brown ymaith yn ffrom, ac ebe fy mam wrthyf,—

"Ddeydes i ddim yn riol wrtho fo, dywed?" ac atebais innau fy mod yn ofni ddarfod iddi fod yn rhy hyf, a'i bod wedi briwo teimladau Mr. Brown.

"Paid a chaboli," ebe hi, "mae i groen o yn dewach o lawer nag yr wyt ti yn meddwl. Fe ddeydodd y Gwaredwr a'i

apostolion blaenach gwir o lawer wrth yr archoffeiriad nag a ddeydes i. Mi wyddwn yn burion lle roeddwn i arni, a mi dyffeia fo i roi symans i mi er cymin gŵr ydi o."

Y noswaith hono daeth Abraham, stiward y Caeau Cochion, i'n tŷ ni i hysbysu fy mam fod gwaith da a chyson yn cael ei gadw i Bob erbyn y deuai adref, a pha arian bynag yr oedd hi yn sefyll mewn anghen am danynt eu bod i'w cael, ac y caffai Bob eu talu yn ol o'i gyflog fel y medrai. Wedi i fy mam grïo tipyn a diolch mwy na mwy, ac adrodd wrth Abraham—yr hwn oedd Annibynwr zelog—hanes ymweliad y person, yr hyn a'i difyrodd yn fawr, wrth ymadael estynodd Abraham sofren yn fenthyg i fy mam, ac aeth ymaith. Edrychodd fy mam ar y sofren bob ochr ac o bob cyfeiriad, fel un yn syllu ar hen gyfaill y mae ymron wedi ei anghofio, ac ebe hi,

"'Gŵr da sydd gymwynasgar ac yn rhoddi benthyg; wrth farn y llywodraetha efe ei achosion.' Wyddost ti be? roeddwn i *just* wedi anghofio ffasiwn un oedd y frenines yma. Yr ydw i yn cofio yr amser pan oeddwn i reit cybyddus â hi, a gobeithio y byddwn yn gweled ein gilydd yn amlach eto. Hir hoedel a gras iddi hi a'i phlant ydi gwir ddymuniad y nghalon i."

---

### TAITH AR DRAWS CYFANDIR AMERICA.

#### PENNOD II.

YN ein pennod ddiweddaf addewais roddi ychydig o hanes San Francisco; ond cyfarfuom â llawer o bethau dyrys ac anhawdd ar y ffordd. Er y cwbl nid oes achos i hyny ein gwneyd yn ddifater a digalon, gan y bu eraill yn chwilio, ac wedi gallu llwyddo i gael gafael ar allweddau priodol i fyned i mewn trwy y pyrth, a gwneyd ffordd modd y gallwn araf-gerdded ar hyd-ddi. "Eraill a lafuriasant, a ninnau ydym yn myned i mewn i'w llafur hwynt."

Gorwedda 'Frisco ar ben gogleddol gorynys ddeheuol California, yr hon gyda'r un ogleddol sydd yn gwahanu dyfroedd y Môr Tawel oddiwrth y *Bay*, oddigerth y mynediad i mewn, yr hwn sydd oddeutu milldir o lêd, rhwng dau fryn uchel, neu yn hytrach dau fynydd; ac adnabyddir y lle yma wrth yr enw *Golden Gates*. Yn 1847 dywedir nad oedd cymaint ag un llestr mewn blwyddyn yn hwylio i mewn i'r forgainc ardderchog yma, yr hon sydd yn 55 o filldiroedd o hŷd, ac ar gyfartaledd yn saith o lêd. Ond erbyn hyn cyfrifir fod saith o agerlongau yn y *China trade*, chwech o lythyr-longau *(mails)* i Panama, a phymtheg ar hugain yn rhedeg yn gyson i Btika, America Ddeheuol, Honolulu, Australia a New Zealand, heblaw y ceir o bryd i bryd gannoedd eraill o bob maintioli ac o bob parth o'r byd. Yn yr un flwyddyn hefyd nid oedd yma ond pum' cant o drigolion *(settlers)* i'w canfod mewn cymaint â hyny o filldiroedd ysgwâr, pryd y mae erbyn hyn yn y ddinas yn unig ychydig dros 233,000 o eneidiau, bron o bob llwyth ac iaith; ac o'r nifer yna gellir dyweyd fod 50,000 o honynt yn Chinëaid, y rhai sydd yn byw megys mewn bythol neillduaeth oddiwrth bawb arall, mewn lle a elwir *China Town*, ar gŵr y dref. O ran eu nodweddion, dywedir eu bod yn bobl gryfion, cymhwys i waith, ac yn hollol onest mewn masnach. Mae y rhan fwyaf o honynt yn byw mewn tai bychain wedi eu gwneyd o goed, yn rhyw ddeuddeg troedfedd ysgwâr, yn y rhai nad oes ond un ystafell yn unig wedi ei chymhwyso at fwyta a chysgu ynddi. Y mae eraill yn trigo mewn pebyll sydd ychydig yn llai na'r tai. Mae y rhan fwyaf o honynt yn meddu ar ychydig o dir lle y tyfir pob math o lysiau, gan wneyd eu bywioliaeth drwy werthu y rhai hyny. Nid ydynt byth yn dyfod â'u gwragedd gyda hwynt pan yn ymadael â'u gwlad; a phrif bwnc bywyd y Chinëad ydyw casglu digon o gyfoeth i ddychwelyd i'w wlad ei hun, a mwynhâu hyny yn llawen gyda'i briod a'i deulu hyd ddiwedd einioes.

Mae y ddinas wedi ei hadeiladu yn dra annymunol i'r rhai sydd yn ddyeithr yno, ac am gael gweled ychydig arni, yn enwedig yn ystod misoedd yr haf; un cŵr o honi ar ben bryn uchel syth, a'r rhan arall ar y gwastadedd; a chydrhwng hyny a hinsawdd anghynnefin, gorchwyl anhawdd ydoedd cael myned drwyddi yn fanwl mewn ychydig amser. Ond o'r cŵr uchaf, yr oedd yn hawdd cael golwg ar yr oll o honi, ynghyda mesur mawr o'r wlad oddiamgylch. Dywedir mai yn 1836 yr adeiladwyd y tŷ cyntaf yma, yr hwn a elwid yr adeg hono Yuba Burana; ac o hyny hyd 1852, llwyr ddinystriwyd y ddinas chwe' *gwaith* gan dân, yr hyn a achlysurodd golledion oedd yn dyfod i tua phum' miliwn a chwarter o'n harian ni. Erbyn hyn y *maent* wedi dyfod i weled gwerth mewn adeiladau cèryg a haiarn, yn enwedig y masnachdai. Gwrthddrych teilwng o sylw ydyw *tai y* trigolion a'r gerddi o'u hamgylch, i'r rhai y telir y sylw manylaf, yn enwedig i'r blodau, ynghyd ag i'r aml goed *ffrwythydd*, sef y gwinwydd, coed *oranges, peaches*, afalau, &c.; a dywedir nad oes un wlad yn meddu ar farchnad ffrwythydd i'w chyffelybu â'r farchnad sydd yma.

Yma hefyd y mae y gwestdy mwyaf a

fêdd y byd, sef y *Palace;* adeilad gwych a chostus, wedi ei osod 344 wrth 265 o droedfeddi, ac yn 115 troedfedd o uchder, yr oll ar sylfaen gadarn o ddeuddeg troedfedd o led. Heblaw ei fod yn meddu y cyflenwad o ddwfr perthynol i'r dref, mae yno ffynnon gerllaw âg ynddi tuag wyth mil ar hugain o alwyni o ddwfr bob awr. Heblaw hyny mae yno ddyfrgist *(reservoir)* o dan yr adeilad yn cynnwys chwe' chant a deg ar hugain o filoedd o alwyni, ynghyd a saith ereill ar y nèn yn cynnwys 28,000 o alwyni.

Gellir dyweyd fod pobl 'Frisco wedi cyrhaedd safle uchel mewn dysgeidiaeth, oddieithr y cylch iselaf o honynt. Maent yn meddu ar nifer mawr o ysgolion cyhoeddus, ynghyd a rhai neillduol. Mae yno heblaw hyny wyth o lyfrgelloedd, y rhai sydd yn agored i bawb. Yn un o honynt ceir gweled nifer mawr o hen lyfrau a llawysgrifau perthynol, fel y tybir, i'r cenadon Yspaenaidd, y rhai cyntaf a ddaethant yma i lafurio ymhlith yr Indiaid oddeutu y flwyddyn 1775. A cheir gweled yno lliaws o newyddiaduron Seisonig o'r hen wlad, a rhai Cymreig, heb son am y 65 a berthynant i 'Frisco yn unig, o ba rai y mae 13 yn dyfod allan yn ddyddiol. Mae yno hefyd nifer mawr o addoldai, yn perthyn i bob enwad; lliaws o eglwysi perthynol i'r Pabyddion; tri neu bedwar o *Chinee Joss Houses;* ac yn benaf oll yr ystyrir synagogau yr Iuddewon o ran eu hardderchogrwydd a'u gwychder. Yn eu plith yn olaf, ond nid yn lleiaf mewn parch, yr oedd yr Ysgoldŷ Cymreig, lle y cefais y fraint o dreulio ychydig oriau i wrandaw yr efengyl. Ond er yr holl adeiladau crefyddol hyn, mae yn ddrwg genyf ddyweyd fod yma gannoedd lawer o'r trigolion, ac yn eu plith rai Cymry, yn hynod ddigrefydd.

Ychydig filldiroedd oddiyma y mae'r *Geysers,* neu ddyfroedd sydd wrth natur yn cael eu lluchio neu eu chwythu allan o'r ddaear, rhai o honynt i'r uchder o gant i gant a hanner o droedfeddi. Mae'r rhan fwyaf o honynt yn iâsboeth, tra y mae rhai yn hollol ferwedig, ac eraill ychydig fodfeddi oddiwrthynt mor oer fel nas gall neb ddyoddef ei law yn eu dyfroedd ond am ychydig iawn o amser. Maent hefyd o wahanol liwiau; rhai â'u dyfroedd yn loëw fel grisial, eraill o'r lliwiau du, coch, a melyn. Dywedir nad oes yn perthyn i'r cant o'r rhai mwyaf pwysig dri o'r un natur. Gellir mewn ychydig amser gasglu ystôr dda o *magnesia, sulphur, soda, alum,* halen, a lliaws o gyfferiau eraill; a cheir gweled llawer o gleifion yn cyrchu o bell ac agos at y ffynnonau bywiol hyn am leshâd a meddyginiaeth.

*Liverpool.*

# Darlleniadau Detholedig.

EFFEITHIOLRWYDD CARIAD CRISTIONOGOL.

YMHOB man y mae trais, creulondeb, a dial, wedi troi'r byd yn Armagedon ac yn Aceldama waedlyd. Ond deuwch i fynydd Sion, ac wele'r fuwch a'r arth yn pori ynghyd, a'r llydnod yn cydorwedd; y blaidd heb ei raib, y llew heb ei gynddaredd, a'r asp wedi colli ei gwenwyn; neb yn drygu nac yn dyfetha yn holl fynydd sanctaidd Duw, eithr, i'r gwrthwyneb, pawb yn cydymdeimlo, yn dosturiol, yn maddeu i'w gilydd, ac yn dwyn beichiau eu gilydd, pan y mae'r byd oddiamgylch wedi ymlapio mewn hunanoldeb, ac yn trybaeddu ei ddillad mewn gwaed. O effeithiau crefydd Mab Duw ar bechadur! Pwy ond efe allasai alw Paul yr apostol o Saul yr erlidiwr; dwyn y dyn oedd yn chwythu bygythion a chelanedd yn erbyn dysgyblion yr Iesu i anadlu y fath garedigrwydd ag sydd yn ei lythyr at Philemon, ac i fod yn ewyllysgar iawn i dreulio ac ymdreulio dros eneidiau'r saint, ac i gyfranu iddynt nid yn unig efengyl Duw, ond ei enaid ei hunan hefyd, am eu bod yn anwyl ganddo—yr un dyn yn dyweyd am yr un rhai ag y buasai yn eu herlid a'u hanrheithio, "Yr ydych yn fy nghalon i, i farw ac i fyw gyda chwi!" Beth pe yr anfonid heddyw genadon at Fab Duw, fel y gwnaeth Ioan Fedyddiwr, i ofyn iddo, "Ai ti yw yr Hwn sydd yn dyfod, ai un arall yr ydym yn ei ddysgwyl?" at ba faint o eglwysi Cymru y gallai efe droi a dywedyd, Ewch a mynegwch y pethau a welwch ac a glywch. Edrychwch ar effeithiau fy nghrefydd ar filoedd yn Nghymru: dyma'r balch yn ostyngedig, a'r dialgar yn faddeugar; wele Nabal galed a drwg ei weithredwedi ymdrwsio oddifewn âg addfwynder, a Diotrephes yn y llwch! Fel cydetifeddion anfarwoldeb, dyma'r brawd o radd isel yn llawenychu yn ei ddyrchafiad, a'r cyfoethog yn ei ddarostyngiad,—pob gwahaniaeth ac anmherffeithrwydd, sydd yn tueddu i wneyd y naill yn anhyfryd i'r llall, yn gwbl ddieffaith i'w gwahanu oddiwrth eu gilydd, o herwydd effeithiau mwy grymus y pethau sydd yn eu gwneyd yn un! Hawdd y gall Cristionogaeth hebgor gwyrthiau; hawdd y gallasai prophwydoliaeth ballu, a thafodau beidio, gan fod y gwyrthiau hyn y mae Mab Duw yn eu gwneuthur yn nghalon pechadur drwy yr efengyl yn ddigon i brofi fod Duw gydag ef. Ein prif orchwyl ni wrth fyned drwy'r byd a ddylai fod, ennill dynion i adnabod y Gwaredwr, eu dysgu nad oedd y Cyfiawn hwnw neb llai na Duw wedi ymddangos yn y cnawd, ac wedi ei ddanfon i'r byd i gadw pechaduriaid. Ond pe llefarem y pwnc hwn â thafodau dynion ac angylion, ac heb fod genym gariad, ni byddai o ddim lleshâd. Yr ymarferiad yn ein gwahanol

eglwysi o'r cariad, y cydymdeimlad, yr hoffder, a'r gofal, sydd i fod genym am ein gilydd fel cydaelodau o gorff dirgeledig Crist,—dyma y dystiolaeth fawr sydd genym i'w dwyn ger bron y byd mai Duw a ddanfonodd y Messïah. Pan welo dynion y fath rai wedi eu codi i'r fath ysbryd, fe fydd argyhoeddiad yn eu cydwybodau fod crefydd Crist yn Ddwyfol, a bod y gwaith a wnaed ynom drwy yr efengyl yn deilwng o ddyfodiad Mab Duw i'w gyflawni. Am y rhai sydd yn proffesu Crist, ac yn byw mewn angharìad a chenfigen, fe'u profir ddydd a ddaw yn euog o wneyd yr oll a allasent hwy i gadarnhâu y byd yn ei anghrediniaeth.—*Henry Rees.*

---

### AWDURDOD YR IAWN.

LLAWER o'r archoffeiriaid Iuddewig a aethant i'r cysegr sancteiddiolaf gyda gwaed i'w daenellu; ond ni feiddiodd un o honynt fyned at y drugareddfa i deyrnasu. Wedi taenellu y gwaed, da oedd cael dyfod allan; ni feiddiai un o honynt eistedd ar orsedd y drugareddfa. Ond fe gafwyd gwaed gan Grist a roddodd hawl iddo eistedd ar orsedd llywodraeth Duw. Efe bïau'r drugareddfa. Y mae ganddo awdurdod i faddeu pechodau, ac awdurdod ar yr holl greadigaeth. Efe a feddiannodd yr awdurdod hon trwy ei waed ei hun. Ni buasai efe yn cael awdurdod fel Cyfryngwr i faddeu pechodau, neu i lywodraethu'r greadigaeth, ond ar sail ei iawn. "O herwydd paham." O herwydd pa beth? O herwydd iddo fod yn "ufudd hyd angeu, ïe, angeu'r groes,"—"o herwydd paham, Duw â'i tradyrchafodd yntau, ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw." Y mae wedi cael gafael ar lywodraeth yr holl greadigaeth, pethau mawrion a bychain; y mae iddo lywodraeth dros y cwbl. Nid ydyw yn beth i'w ryfeddu os oes ambell i hen ymherodraeth, sydd wedi bod yn rhwystr i lwyddiant ei deyrnas, yn dechre crynu. Mab Duw sydd yn anadlu arni, ac y mae yn sicr o gwympo. Rhaid i'r llywodraeth fod yn ei law i'r dyben iddo weithio allan ei amcanion mawr. Angeu'r groes fydd bïau'r ddaear yma i gyd yn y màn. Troes y frwydr yn erbyn y diafol am byth ar Galfaria. O ran hyny, y mae'r frwydr wedi ei hennill; nid oes dim ond ychydig weddillion o'r cwbl heb eu cael i mewn. Mab Duw a bïau'r ddaear hon; y mae ei hawl yn gyflawn; rhaid iddo feddiannu yr holl genedloedd. O Arglwydd, brysia'r dyddiau! O y fath waredigaeth i holl genedloedd y ddaear, O Arglwydd Iesu, a fyddai cael dy iau esmwyth di yn lle'r gorthrwm ofnadwy sydd yn canlyn egwyddorion drwg!—*John Jones, Talysarn.*

---

### Y DDAU DY YN Y DIWEDD.

DICHON yr hunan-dwyllwr ddal gyda ei grefydd trwy brofedigaethau y byd hwn hyd angeu. Felly yr oedd y morwynion ffol yn y ddammeg. Ar y waedd hanner nos y deallasant eu bod heb olew yn eu llestri gyda'u lampau. Y prawf terfynol ar y ddau dŷ—y tŷ ar y tywod, a'r tŷ ar y graig—a fydd ystormydd angeu, llifeiriant yr Iorddonen. Yno y bydd llifogydd mawrion y byd arall yn tori ar y tŷ—gwyntoedd nerthol presennoldeb Duw yn taro arno. Ofnadwy dymhestl! pwy all roddi darluniad o honi? y llifeiriant yn rhy ofnadwy i neb allu dyfod i roddi cymhorth—y môr yn rhy dònog i'r *lifeboat* anturio allan! Gwelwch y llygaid yn dechreu llonyddu, y meddyg yn cilio draw, yr anadl yn byrhâu. O pa beth a ddaw o'i dŷ? dyna ydyw'r cwbl yn awr; nid yw aur ac arian, na chyfeillion, yn ddim; y tŷ, y tŷ sydd o bwys heddyw! Ar sylfaen y tŷ y bydd y curo mawr, ac nid cymaint ar y tŷ oddiallan. Ni chaiff y dyn y pryd hwnw ddim hamdden i feddwl am ei gyflawniadau allanol gyda chrefydd; y pwnc mawr ganddo a fydd, Pa beth am y sylfaen! pa fodd y mae fy achos rhyngwyf â Duw! a oes heddwch rhyngwyf â fy Marnwr! a ydwyf yn ei adnabod? a ydyw Efe yn fy adwaen innau fel ei eiddo? a ydwyf mewn undeb â Christ, ac yn rhwymyn y cyfammod? Digon tebyg y bydd ar y duwiol ofn i'w dŷ syrthio, wedi teimlo llygredd ei galon mor gryf trwy ystod ei fywyd, a chael ei hun mor anmherffaith. Ond edrychwch arno yn yr ystormydd: y tònau yn rhuthro a'i dŷ yn dal, a'r graig yn derbyn y llifeiriant yn ei le; y tònau yn myned â'r ysgubion ymaith, a'r graig yn dyfod yn fwy amlwg; yntau yn ei dŷ yn dawel, ac yn dywedyd wrtho ei hun, "'Ni syrthiodd;' dyna'r graig yn gîr danaf." Mae pob peth fel creigiau am ddal ei dŷ: cyfammod tragywyddol, aberth Crist, addewid Duw, ïe, cadernid Duw ei hun. Bydd y credadyn yn edrych allan drwy ei ffenestr, ac yn dywedyd, Mae ar fyned yn hindda byth, mae yn clirio yn môn y gwynt; y gwlaw a basiodd ac a aeth ymaith, hâf byth mwy, a thywydd têg tragywyddol! Ond edrychwch ar y tŷ ar y tywod yn y llifeiriant; dyn heb wybod am gymmod â Duw, heb grefydd y galon: wele efe yn siglo drwyddo, y sylfaen yn rhoddi i ffordd, yn ymollwng, yn cwympo yn ddarnau, ac yn chwalfa yn nghanol y dymhestl ofnadwy! Y fath siomedigaeth i'r perchen! bod heb dŷ, heb gysgod, na gobaith byth am loches na hindda. Ond y mae'r graig i'w chael yn sylfaen heddyw. Enaid anwyl, tyred i bwyso arni.—*David Jones, Treborth.*

---

### YMADRODDION Y DOETHION.

GYDAG agoriad Dafydd mae yr Iesu yn agor yr hyn a gauwyd gan Adda.

Drwg yw cyflawni bai, a gwaeth yw ei esgusodi.

Cyfrifwch y dyddiau teg a'r dyddiau gwlawog am flwyddyn, a chwi a gewch fod y dyddiau teg yn lliosocach o lawer.

Mae duwioldeb yn peri ofn mewn hawddfyd a gobaith mewn adfyd.

Ymröa i wneyd dy ddyledswydd heddyw, a thi a gei mai hawddach fydd cyflawni dyledswydd yfory.

"Gelwir ei enw Ef Rhyfeddol," yr Hwn oedd â physgodwyr ganddo yn gyfeillion, ac ar yr un pryd angylion iddo yn weision.

Mae llawer plentyn wedi cael ei bellhâu oddiwrth grefydd mewn canlyniad i'w rieni yn ceisio ei rwymo â'i hawdurdod cyn ymdrechu ei ddenu â'i hyfrydwch.

Yr hyn yw iechyd i'r corff yw cydwybod dda i'r enaid.

Nid dyfroedd y rhaiadr trystfawr, ond y gwlith nosol dystaw, sydd yn cynnyrchu tyfiant a ffrwythlondeb y tir.

Yn gyffredin po leiaf a feddylio dyn, mwyaf y sieryd.

Gwrtaith da i dir yw traed y perchenog.

Yr hwn a fyn fwyta ei giniaw ei hun, edryched am gyfrwyo ei asyn ei hun.

Pwy nad yw yn hoffi a mawrhâu glanweithdra a threfnusrwydd! Nid gweddus mewn cymdeithas yw bod hyd yn nôd gwallt y pen i'w weled yn anghryno.

Y neb sydd yn ceisio gwraig, dewised hi ar ddydd Sadwrn, ac nid ar ddydd Sul.

Mae hen bobl yn dueddol i siarad am yr hyn a wnaethant, pobl ieuainc am yr hyn y maent yn ei wneuthur, a phobl fychain eu synwyr am yr hyn y maent yn bwriadu ei wneyd.

Y dyn sydd â'i gâp yn ei law, ac nid yr hwn a'i ceidw yn wastad ar ei ben, sydd yn myned ymlaen oreu trwy'r byd.

Estyna yr areithydd i chwi mewn hŷd yr hyn a gyll efe mewn trŵch.

Yn rhy fynych y rhoddwyd canmoliaeth er mwyn ei derbyn yn ol gyda llôg.

Er mwyn i ddyn fod yn ddiogel rhag gweled un ynfyd, caued ei hun i fyny, ac nac edryched yn y drych.

Pan ar drengu o syched y ceir yr anmhrydlawn yn dechre cloddio ffynnon.

Yr hwn nad yw yn ceisio rhwystro trosedd sydd yn ei gefnogi.

---

# Barddoniaeth.

## PENNILLION COFFADWRIAETHOL

I'r diweddar Mr. David Jenkins, blaenor parchus yn Bethlehem Green, ac Ysgrifenydd Ysgolion Dosbarth Castellnedd am flynyddau.

Ewch i ffwrdd, chwyddedig eiriau, a ffug druth, o'r farwnad hon,
Ystrydebol ansoddeiriau ni esboniant ddyfnder bron;
Nid wyf am gynnorthwy 'r "cwmwl," "blodau natur," "dagrau gwlith,"
Anfri i gymeriad gonest f'ai cysylltu ffug a rhith:
Gallaf nodi heb ormodiaith na enhuddodd pridd y bedd
Ddyn mwy unplyg a diragrith na'r brawd hwn o Gastellnedd;
Y gwirionedd pur dilychwin a wregysai 'i galon lân;
Delw y gwirionedd hwnw a ddysgleirio yn fy nghân.

Llinell amlwg ac addurnol yn ei fywyd dysglaer ef
Ydoedd penderfyniad nerthol, lywid gan ewyllys gref:
Ni nodweddid llwybr ei yrfa â gwamalwch tônau 'r aig;
Dros egwyddor uniawn safai yn ddiysgog megys craig:
Nid creuedig benderfyniad gan uchelgais beiddgar hyf,
Ond y cyfryw sydd â'i wreiddyn mewn dwfn argyhoeddiad cryf;
Gallu barn, nid zel y teimlad, lywodraethai 'i foesol rawd,
Y ffordd dybiai ef yn gywir, dyna 'r llwybr dramwyai 'n brawd.

Meddai ar dynerwch benyw ac eondra cawr 'r un pryd,
Diniweidrwydd a gwroldeb—oen a llew yn cwrdd ynghyd;
Traethai yn ddidderbyn wyneb y gwirionedd yn ddifraw,
Byth ni wisgai ef sirioldeb gyda dagr yn ei law;
Os ar brydiau 'n swrth a garw, dan yr oll 'r oedd serch di-rith,
Megys cwmwl pan yn gwgu yr un pryd yn llawn o wlith;
Mil gwell genyf fi ddynesiad cyfaill sydd yn gwisgo gwg,
Na dynesiad gwênau gelyn fydd yn cuddio calon ddrwg!

Pan i deulu yr ymruthrai blin dylodi megys blaidd,
Deigryn y tylawd ysgydwai ei holl enaid hyd y gwraidd;
Fel âg asgell fiydd tosturi y tywalltai olew byw
O aur-gostrel ei haelioni i liniaru 'r dwfn friw;
Neu fel cwmwl mawr nofiadwy, â bendithion yn ei gôl,
Yn defnynu pan yn tramwy 'r nef ar fynydd, gardd, a dôl,
Felly yntau a ddyhidlai ar dir anghen crasboeth, crin,—
Llawer calon ymadfywiodd dan ei wlithog, faethlawn rin.

Symudiadau elusengar a dyngarol gwlad a thref
Gynnorthwyai 'n ewyllysgar, gyda llaw ac ysgwydd gref;
Ar allorau sanctaidd crefydd yr offrymodd roddion mawr,
Hawddach na rhoi ffin i'w haeledd f'asai tori ffordd i'r wawr;
Nid yn rhoi â bryd hunanol, i adseinio clod ar daen,
Cariad oedd yr agerdd nerthol a ysgogai 'r oll ymlaen;
Nid oedd sŵn y drystiog gornant yn ei roddion yn ein plith,
Esmwyth fel y gwawl disgynent, dystaw fel y gawod wlith.

Methodistiad egwyddorol, safai dros ei grêd fel cawr,
Ond ni chafodd zel ddallbleidiol loches yn ei galon fawr;

Dros gul ffiniau rhagfarn sectol croesai ei
ryddfrydiaeth gref,
Awyr enwad oedd ry gyfyng i'w adenydd
nerthol ef;
Blaenor dysglaer a llafurus fu yn Methlem*
yspaid maith,
Llanwodd y swydd bwysig hono hyd y bedd
heb fwlch na chraith;
Pwyll, doethineb, a thynerwch, a'i haddasai
ef i'w swydd,
Ond er hyn ei dduwiolfrydedd oedd dirgel-
wch mawr ei lwydd.

Llanwodd ef yn anrhydeddus swyddau ereill
hyd ei hwyr,
Ac fe deimlai 'r holl frawdoliaeth ynddo ym-
ddiriedaeth lwyr;
Gwisgo galar mae ysgolion dosbarth eang
Castellnedd
Am eu hen 'sgrifenydd gweithgar, sydd is
cwrlid gwyrdd y bedd;
Pwy mewn gallu a ffyddlondeb yn gymhwys-
ach i'r swydd hon?
Ei gyfrifon oedd yn onest ac yn gywir—
fel ei fron.
Saif ei ymdrech dros Drefecca† yn gofgolofn
fythol, gref,
Gwell na mynor caboledig o rinweddau
fynwes ef.

Os nad ydoedd heb ddiffygion—wel, dangos-
wch i mi ddyn
Nad oes argraff beiau arno mewn rhyw ddelw,
ffurf, neu lun;
Ewch o'm gwyddfod, chwi eallibwyr, wylwch
ffaeledd bach o bell,
A blasusfwyd eich eneidiau mewn cael gwall-
au yn eich gwell.
Wedi gyrfa o weithgarwch, Jenkins hoff a
gwsg mewn hedd,
Ond ei anwyl goffadwriaeth fyth ni lygra
pridd y bedd;
Gellir cerfio mewn llyth'renau, heb i wrid
gyfodi i'r wedd,—
"Un o wir ffyddloniaid Israel" ar y maen
sydd uwch ei fedd.

LLEF UN YN LLEFAIN.

* Tua naw mlynedd.
† Drwy ei zel a'i benderfyniad ef yn benaf y
cafwyd gan y Dosbarth dalu yr hyn ddaeth i
mewn at *Fund* Coleg Trefecca.

---

## GWEDDI.

Gan faddeu maddeu i mi—O Arglwydd
Ac erglyw fy ngweddi;—
Gras y Tad!—mor groes i Ti
Droi enaid i drueni.

W. EVANS (*Bryn Lleyn*).

*Lerpwl.*

# Adolygiad y Wasg.

COFIANT A PHIGION O BREGETHAU Y PARCH. MICHAEL ROBERTS, PWLLHELI; *yn cynnwys yr hyn a ysgrifenodd am dano ei hun, ac am ei dad, y Parch. John Roberts, Llangwm, &c.* Gan JOHN JONES, F.R.G.S., Plastirion, Pwllheli.

Pwllheli: cyhoeddwyd gan Robert Owen.

HYSBYSA Mr. Jones yn y Rhagymadrodd mai y rheswm—"yr esgusawd," medd efe, eithr nid oes achos ymesgusodi—am gyhoeddi y llyfr hwn wedi i 84 mlynedd fyned heibio er amser marwolaeth Michael Roberts, yw y darganfyddiad a wnaed yn ddiweddar o hen bapyrau ysgrifenedig ganddo, oedd yn werth eu cyhoeddi fel dolenau yn nghadwen hanesyddiaeth Methodistiaeth Gymreig, ac er mwyn rhoddi i'w ddarllenwyr yn gyffredinol "lawer o wybodaeth a mwynhad."

Yr oedd Mr. Roberts yn un o enwogion ein Cyfundeb, yn un o brif bregethwyr hen Sasiynau gogoneddus y Bala, a'i weinidogaeth yn cael ei chyfrif gan ei wrandawyr yn "diferu fel gwlith, fel gwlithwlaw ar irwellt, ac fel cawodydd ar laswellt," yr hyn sydd yn peri nas gall ei goffadwriaeth fod byth yn anamserol. Gwelir fod ganddo le mawr yn mhrif symudiadau'r Cyfundeb, megys dechre y neillduad ar y pregethwyr, ffurfiad y *Cyffes Ffydd*, &c., ac felly yn gyfiawn yr edrychir arno yn un o'n tadau. Cawn ei hanes boreuol ganddo ef ei hun, yr hyn sydd yn dra dyddorol, megys y mae yr oll a gyhoeddir o'i lawysgrifau. Ac y mae awdwr y cofiant wedi cyflawni ei waith yn hapus a medrus; pob peth a ysgrifena am ei wrthddrych yn sylweddol ac i'r pwrpas. Mae yr hanes a geir gan Michael Roberts am ei hybarch dad, John Roberts o Langwm, yn hynod ddarllenadwy a tharawiadol, er fod yn amlwg mai pan o dan ei anhwyldeb meddyliol ei cyfansoddwyd ganddo.

Nis gallwn ymarbed rhag rhoddi yma y dernyn canlynol, fel engraifft o'i ysgrifenedig hon:—

"Priododd John Roberts ei wraig gyntaf yn Llanllyfni pan yn dair blwydd ar hugain oed. Bu iddynt bedwar o blant, sef Phœbe, Ann, Michael, a'r ieuengaf yr hwn a drengodd y mynyd ei ganed. Bu farw Phœbe yn ddeuddeng mlwydd a chwe' mis o oedran. Yr oedd yn eneth nodedig mewn dysg, dawn, a duwioldeb; ac yr oedd ei marwolaeth yn ergyd i John Roberts oedd yn cyrhaedd hyd yr enaid. Cofia yr ysgrifenydd byth am ei gweddïau taerion a maith, yn ddirgel a theuluaidd, er nad oedd ond wyth mlwydd oed ar y pryd. Cafodd yr ysgrifenydd a'i chwaer Ann yr un clefyd yn drwm iawn, ond arbedwyd hwynt. Oed cymerwyd hi ymaith ar ol

yn fel tywysen addfed i fynwes Abraham. Y dydd y cymerwyd hi yn sâl aethai i'r Pentref ar neges i'w mham; aeth hefyd i'r fynwent i fyfyrio; ac o'r braidd y gallai gerdded yn ol. Gofynai ei mam iddi pa le y buasai cyhŷd. 'Bum yn y fynwent ar fedd hwn a hwn,' sef rhyw frawd anwyl iddi; tybygaf mai un o feibion Cae Efa ydoedd. Ac wrth ei helpio i'w gwely, o'r hwn ni chyfododd mwy, dywedai, ''Mam, cyfansoddais bennill ar y mesur newydd yn y fynwent heddyw.' 'Ai ê,' ebe y fam; 'pa sut y mae o, fy ngeneth?' Ac adroddai y pennill canlynol, nes yr oedd bron a cholli ei hanadl,—

''Rwy 'n cyrchu at yr awr
I gael fy nhori i lawr,
A'm dodi i orwedd lle bu Ef:
Lle i orphwys yno fydd,
Hyd pan y delo 'r dydd
Daw Iesu ar gymylau 'r nef.'

Buasai yr adroddiad yn ddiau yn effeithio yn ddwys ar feddyliau estron teimladwy; ond pa faint ar deimladau mam, brawd, a chwaer? Ond rhyfedd olwynion Rhagluniaeth yr unig ddoeth Dduw! Mis i'r un diwrnod y cludid hi i'r gladdfa. Yr oedd Mr. Richardson o Gaernarfon, yr hen efengylwr mwyn, ar y pryd yn pregethu i fwy na llonaid yr hen gapel o bobl, pa rai oll a fedyddiwyd â dagrau heilltion cyn pen y chwarter awr ar ol darllen ei destun, yr hyn oedd, 'Felly hefyd y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef.' A dyna lle y buont am hir amser; efe yn bloeddio, a phawb yn wylo neu yn gwaeddi, ac ugeiniau yn neidio gan lawenydd y nef. Ac yr oedd eu sŵn yn cyrhaedd ymhell, nes peri i'r rhai oedd gartref yn gwarchad redeg yno i edrych beth oedd hyn. Mr. Richardson, John, a'i frawd Robert Roberts, a neidient ac a ddawnsient yn un parti gwych, fel Dafydd frenin gynt, ond fod ganddynt hwy sylwedd yr arch y chwareuai yr hen frenin o'i blaen. Ac nid oeddynt ychwaith fel y cloff wrth borth y deml, oblegid cawsent hwy eu diasg'offl cyn hyny er ystalm. Fy mam a orfoleddodd yn y tŷ. Ac yr oedd Phœbe [Ann, dybygid, a ddylai fod yma] yn teimlo fel pe buasai etifeddiaeth wedi dyfod iddi y dydd hwnw. A'r ysgrifenydd, pan yn ei wely yn mhoethder ei glefyd, a ddechreuai weddïo ar Iesu Grist y tro cyntaf heblaw ei bader a'i gredo; ac ni flinodd fyth er ys hanner cant o flynyddoedd. Ac y mae yr hen grefft yn talu yn well o hyd. Ac os dygwydda fod y darllenydd yn ddiweddi pan y gwelo yr hanesyn hwn,—anwyl enaid! dechreua arni fel y medri. Un rhyfedd ydyw Duw am wrando yn eiriolaeth yr Archoffeiriad mawr. Dechre weddïo, bendith Dduw i ti! canys felly yn unig y byddi fyw yn dda a marw yn ddedwydd!"

Dysgwyliwn y ceir gweled y llyfr hwn o leiaf yn nheiau y Methodistiaid trwy yr holl Dywysogaeth.

---

TESTAMENT Y MILOEDD. *Y Testament Newydd gyda Nodiadau Eglurhäol, a Chyfeiriadau Cyflawn. Gan y Parch.* JOHN OGWEN JONES, B.A., *Rhyl.*

Dinbych. cyhoeddwyd gan T. Gee a'i Fab.

*Y Testament Newydd Diwygiedig: neu, Y Cyfnewidiadau a gynnwysir yn yr Adolygiad o'r Testament Newydd Seisoneg, yr hwn a gyhoeddwyd yn* 1881. *Wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg, gan y Parch.* J. OGWEN JONES, B.A.

Dinbych: T. Gee a'i Fab.

Y MAE y ddau lyfr—y Nodiadau Eglurhäol ar yr holl Destament Newydd, a'r cyfieithiad o'r *Revised Version of the New Testament*, ger ein bron mewn un gyfrol drwchus, eto nid anhylaw, wedi ei rhwymo yn gryf a gwych. Mae y naill a'r llall i'w cael ar wahân, neu ynghyd, fel y maent yma, os dewisir.

Galwasom sylw yn y flwyddyn ddiweddaf at *Y Testament Newydd Diwygiedig;* a da genym ddeall ei fod wedi ac yn cael derbyniad croesawgar gan ein cydgenedl. Yn awr dyma *Destament y Miloedd* yn orphenedig, yn cynnwys 832 o dudalenau. Am ei gynllun neu ei ddull mynega y Rhagymadrodd,—

"Yn niwedd ei lyfr, a deitlir '*The Advancement of Learning,*' dywed Arglwydd Bacon mai 'yr hyn sydd arnom ei eisieu ydyw, casgliad byr, iachusol, a doeth o nodiadau a sylwadau ar ranau neillduol o'r Ysgrythyr, heb redeg i feithder, heb ddilyn dadleuon, ac heb eu trefnu yn ol cynllun celfyddydol, eithr eu gadael yn hollol lâc a naturiol.' . . . . . Amcan y gyfrol fechan hon ydyw cyflawni i fesur trwy gyfrwng yr iaith Gymraeg, yr anghen a nodir gan Bacon. Nid ydyw y gwaith, gan hyny, i'w olygu fel esboniad yn ystyr arferol y gair. Nis gallesid dysgwyl, yn ol cynllun a threfn y gwaith, i'r cyfryw gynnwys beirniadaeth ac adolygiad ar yr esboniadau amrywiol, eithr yn hytrach barn yr awdwr ei hun ar y cyfryw ranau, a hyny fel math o waelod neu gyfrwng awgrymiadol i'r darllenydd arfer ei fyfyrdod ei hun, fel ag i'w gynnorthwyo i ryw fesur i ffurfio penderfyniad yn ei feddwl ei hun. . . . . . Nid oes ynddo gyfeiriadau na dyfyniadau mynych a maith o olygiadau yr esboniwr yma, a'r nodiedydd arall; ond wedi ymofyniad ac ymgydnabyddiaeth â'r hyn a ddywed yr esbonwyr goreu, amcenir rhoddi yr hyn a farna yr awdwr fel y golygiad cywir, er yn fynych yn teimlo yn sigledig ac anmhenderfynol, o herwydd anhawsderau cryfion, anmherffeithrwydd deall, a gwahaniaeth barn rhwng esbonwyr o'r radd uchelaf a'u gilydd."

Lle y mae adnodau yn gofyn am nodiadau lled helaeth, y maent yn cael eu

rhoddi; ond ar adnodau eraill, nid ydynt ond byrion, eithr oll yn eglur ac i'r pwynt.

At fanteision eraill sydd gan Gymry y dyddiau hyn i fod yn gyfarwydd yn ystyr ac amcan mawrion bethau yr Ysgrythyr, nid y lleiaf, yn ddiau, yw *Testament y Miloedd;* a hyderwn y bydd "y miloedd" yn dangos mewn gweithred a gwirionedd eu bod yn gwerthfawrogi y cyfryw fantais.

---

GEMAU DUWINYDDOL: *neu, Gorff cynnwysfawr o Dduwinyddiaeth, mewn ffurf newydd, yn cynnwys miloedd o sylwadau Tarawiadol, wedi eu dethol gan mwyaf o'r prif awduron, yn neillduol yr hen Buritaniaid.* *Gan* ROBERT JONES, *Llanllyfni.*

Dinbych: argraffwyd gan T. Gee a'i Fab.

AIL argraffiad o'r *Gemau Duwinyddol* yw hwn; "wedi ei argraffu gyda llythyren fwy, a phapyr rhagorach," medd anerchiad y Detholydd; a'r dystiolaeth hon sydd wir. Y mae'r *Gemau* bellach yn un o'r llyfrau harddaf, yn gystal â rhagoraf, yn Nghymru. Nis gallasem ond rhoddi pob canmoliaeth i'r gwaith ar ei ymddangosiad y tro cyntaf; a pho fwyaf yr edrychir iddo, ac a ddarllenir arno, gwerthfawrocaf y cyfrifir ef gan y darllenydd. Am ei ddefnyddiau, dywed rhagymadrodd:—

"Defnyddiwyd gweithiau awduron pob plaid yn ddiwahaniaeth, hyd y gallwyd cael gafael arnynt. Nid oeddid yn adnabod neb yn ol y cnawd wrth ddethol defnyddiau y llyfr hwn. Y mae rhai mor sectaidd fel y tybiant y byddai yn beryglus darllen gwaith neb ond awduron eu plaid eu hunain. Y mae rhai awduron, ag sydd yn ol ein barn ni yn dal rhai egwyddorion cyfeiliornus, eto yn traethu rhai pethau tra rhagorol. Aur yw aur gan nad pa faint o sothach a fyddo o'i amgylch, a gwenith yw gwenith er iddo fod yn nghanol pentyrau o ûs. Dylem fod yn ddigon o ddynion i werthfawrogi perl, gan nad ymha le y caffom afael arno."

Ond, fel y mynega'r teitl, lloffwyd yn fwyaf helaeth o feusydd yr hen Buritaniaid a'r Anghydffurfwyr, o ba le nad oes i'w gael ond y gwenith rhagoraf. Mynych y gwelwn yma enwau Dr. Owen, Thomas Adams, Howe, Manton, Charnock, Bates, Baxter, Thomas Watson, Brooks, Caryl, Flavel, Arrowsmith, Gurnal, ac eraill o ardderchog lu hen dduwinyddion ein teyrnas; a chyda hwy, cawn bigion o weithoedd lliaws o awduron diweddarach, a sylwadau o werth gan rai o enwogion y dyddiau hyn yn Lloegr a Chymru. Pe rhoddasid yn nechre neu yn niwedd y llyfr, daflen o'r holl enwau awdurol sydd ynddo, megys y gwna Mr. Spurgeon ymhob cyfrol o'i Esboniad dihafal ar y Salmau, buasai yn rhestr hir, ac yn un dra dyddorus.

Fel cyfeiriadur hylaw—*book of reference*—at brif athrawiaethau ac ymarferiadau crefydd, gall y *Gemau* fod yn fanteisiol iawn i bregethwyr a blaenoriaid eglwysig, pan yn myned i draethu ar fater penodol; a phe ceseglid ac y defnyddid hwynt gan athrawon yr Ysgol Sabbothol, ac aelodau ein heglwysi yn gyffredinol, byddent â'u meddyliau eu hunain yn gyfoethog, ac yn alluog i gyfoethogi meddyliau rhai eraill.

---

DROS GYFANFOR A CHYFANDIR: *sef Hanes Taith o Gymru at Lànau y Môr Tawelog ac yn ôl, trwy brif Daleithiau a Thiriogaethau yr Undeb Americanaidd; gan* WILLIAM DAVIES EVANS.

Aberystwyth: argraffwyd gan J. Gibson.

LLYFR hardd ei ymddangosiad, a darllenadwy iawn ei gynnwysiad, ydyw y *Dros Gyfanfor a Chyfandir.* Heblaw cymeryd y daith y rhoddir ei hanes yma, yr oedd yr awdwr, y Parch. W. D. Evans (Wesleyad), wedi bod o'r blaen am flynyddoedd yn yr America, ac felly yn deithiwr profedig ar fôr y Werydd a thiroedd y tu hwnt iddo. Er ein bod yn cael allan oddiwrth ei adroddiad ei hun i ba enwad crefyddol y mae yn perthyn, nid oes dim enwadol neu sectaidd yn yr holl hanes a ddyry; ac efe a ddywed ei fod "yn rhwymedig i eglwysi Cymreig America o bob enwad—am garedigrwydd a chynnorthwyon gwerthfawr" ar ei deithiau.

Addurnir y llyfr, ac eglurir ei adroddiadau, â lliaws mawr o ddarluniau mynegiadol, y rhai sydd oll, ni a dybygem, o wneuthuriad Americaidd, yr hyn sydd yn sicrhâd am eu cywirdeb. Gan y dywedir ar y wyneb-ddalen mai yn Aberystwyth yr argraffwyd y llyfr, dylai hyny fod yn fater ffydd genym; ac onidê dywedasem mai Americaidd hefyd yw yr argraffwaith. Pa fodd bynag, mae yr oll yn lân a chlir; ac y mae'r *map* o'r Unol Daleithiau sydd yn nechre'r llyfr yn un manwl a gwerthfawr.

Gallasem, o ran tuedd, roddi llawer o ddyfynnodiadau o'r daith faith gan ein hawdwr; ond y mae ein gofod yn gwahardd hyny. Eithr nis gallwn ymattal rhag anrhegu ein darllenwyr â'r ychydig linellau canlynol, sydd yn ganmoliaeth i'r Cymry hyd yn nôd er iddynt fod yn nghanol y Mormoniaid:

"Y mae yn Utah drefedigaeth fechan o Gymry, a elwir *Wales*, lle na chaniatäodd y gwragedd i'r gwŷr ddwyn amlwreicaeth i arferiad o gwbl. Wedi i un dyn rai blynyddau yn ol gymeryd i'w dŷ wraig at yr hon oedd ganddo, rhoddodd gwragedd y gymyd-

ogaeth hi ar geffyl pren; ac wedi ei chario i weirglodd, gadawsant hi i weithio ei ffordd allan o'r sefydliad oreu y gallai. Oddiar hyny rhoddodd y gwŷr i fyny y frwydr."

Gallwn sicrhâu y caiff y neb a ddarlleno y llyfr hwn lawer o ddifyrwch, ac nid ychydig o addysg, ïe, a lleshâd. Hysbysir fod Mr. Evans yn parotoi eto lyfr mwy, dan yr enw *Hanes Taleithiau Unedig America a'r Cymry ynddynt.* Ceir ynddo, gyda'r pethau eraill, gyfarwyddiadau i ymfudwyr ac ymsefydlwyr, ynghyd a darluniau o enwogion, lleoedd, a dygwyddiadau. Bydd, yn ddiau, yn werth ei bwrcasu a'i efrydu; canys y mae yr awdwr, medd ein cyfaill, y Parch. W. Roberts, D.D., Utica, golygydd y *Cyfaill*, "yn meddu profiad o'r wlad, yn un o synwyr cyffredin da, yn sylwedydd craffus, yn ddetholydd o chwaeth ac yn llenor medrus."

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### Y GYMANFA GYFFREDINOL,

A GYNNALIWYD YN ABERTAWE, MAI 29—MEHEFIN 1AF, 1883.

LLYWYDD,—Y Parch. THOMAS LEVI, Aberystwyth.

EISTEDDIAD CYNTAF Y GYMANFA.

*Nos Fawrth, Mai 29, am 5 o'r gloch.*

DECHREUWYD trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. E. Parry, M.A., Drefnewydd.

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr, ac aelodau eraill y Gymanfa.

II. Penodwyd y Pwyllgorau canlynol.

1. Pwyllgor y Cenadwriaethau oddiwrth Bersonau Unigol.

2. Pwyllgor Arianol.

3. Pwyllgor i appwyntio brodyr i gynnrychioli y Cyfundeb yn nghyfarfod yr Undeb Presbyteraidd yn Belfast, Mehefin 24, 1884.

III. Etholwyd y Parch. Robert Roberts, Dolgellau, yn Llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol.

IV. Etholwyd y Parch. John Cynddylan Jones, Caerdydd, yn Ysgrifenydd am y flwyddyn nesaf a'r flwyddyn ganlynol.

V. Penderfynwyd fod y Gymanfa Gyffredinol nesaf i fod yn Liverpool, Mai 27—29ain, 1884.

VI. Traddodwyd Anerchiad Ymadawol gan y Parch. Rees Jones, wrth roi y gadair i'w olynydd. Galwodd sylw yn arbenig at yr amseroedd presennol, a'n dyledswydd ninnau fel Cyfundeb yn eu gwyneb. Un o beryglon mwyaf eglwys Crist ydyw syrthio i agwedd ddiwaith. Amser heddwch sydd ar eglwys Crist y dyddiau hyn, a'u perygl yw ymrafaelio ynghylch rhyw bethau bychain; yn ei gwaith y cyll yr eglwys yr ymrafaelion hyn. Ni fyddai yn ddoeth i ni ymffrostio yn ein rhagoriaethau cyfundebol; ond y mae yn ein heglwys, yr ydym yn credu, elfenau a bery tra y bydd eglwys gan Grist ar y ddaear. I. Y mae llywodraeth yn ein plith. Y mae genym hawl i dderbyn neu wrthod aelodau. Y mae genym hawl i osod swyddogion. Y mae genym hawl i benderfynu pynciau ymarferol ac athrawiaethol. II. Y mae yr awdurdod yn gwbl yn yr eglwys ei hun; nid ydym yn cydnabod unrhyw awdurdod i drefnu ar ei chyfer tu allan iddi ei hun. Ni pherthyn i eglwys Crist gydnabod unrhyw awdurdod ond awdurdod ei Brenin. Un o beryglon ein hamser ni yw anffyddiaeth ymarferol—difaterwch am bob crefydd. Rhwng Pabyddiaeth ar un llaw, ac anffyddiaeth ar y llaw arall, y mae adeg o enbydrwydd ar grefydd efengylaidd. Yn ngwyneb pob perygl, 1. Daliwn afael ar yr Hen Lyfr. 2. Dysgwn gyfraith yr Arglwydd i'n plant. 3. Daliwn afael ar athrawiaethau gras. 4. Ceisiwn adnabod ein dyledswyddau tuag at y byd, gan ymdrechu am iachawdwriaeth y byd yn nhrefn Duw. Gwyliwn rhag y perygl o anghofio myned i'r priffyrdd a'r caeau, a gwyliwn ar y llaw arall rhag darostwng crefydd Crist. Y mae rhai pethau y gallwn gael cysur oddiwrthynt—y mae manteision addysg yn ychwanegu, ac y mae'r Llywodraeth yn rhoddi breintiau i Gymru. Hefyd, mae'r Llywodraeth yn gwgu ar anghymedroldeb ein gwlad; ac yn enwedig yr ydym yn llawenhâu mai un o'n brodyr ni ein hunain, yr hwn sydd flaenor yn ein plith, a barodd glywed ei lais yn y Senedd er cael deddf i beri cau y tafarnau ar y Sabboth yn Nghymru.

VII. Cynnygiwyd gan y Parch. David Edwards, Casnewydd, eiliwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., cefnogwyd gan y Parch. Joseph Thomas, Carno, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod diolgarwch gwresocaf y Gymanfa yn cael ei roddi i'r Parch. Rees Jones, am ei fedrusrwydd a'i ffyddlondeb yn llywyddu am y flwyddyn flaenorol, ac am ei anerchiad amserol.

VIII. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, ac eiliwyd gan y Parch. William Williams, Abertawe, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Fod diolch-

garwch gwresog y Gymanfa yn cael ei gyflwyno i'r Parch. Thomas Roberts, Bethesda, am ei ddeheurwydd a'i ffyddlondeb yn cyflawni ei swydd fel Ysgrifenydd am y ddwy flynedd ddiweddaf.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Llywydd.

IX. *Cyfarfod am 8 o'r gloch, yn yr Albert Hall.*—Cynnaliwyd y cyfarfod hwn i'r dyben o gyflwyno anerchiad i Mr. John Roberts, A.S., yn unol â phenderfyniad Cymanfa Gyffredinol y Bala y flwyddyn ddiweddaf, i ddadgan ein diolchgarwch a'n rhwymedigaeth iddo am y rhan flaenllaw a gymerwyd ganddo yn y Senedd er sicrhâu cau y Tafarnau ar ddydd yr Arglwydd yn Nghymru. Llywyddwyd gan Lywydd y Gymanfa, a chymerwyd rhan yn y cyfarfod gan y Parchedigion David Edwards, Casnewydd, Dr. Owen Thomas, Owen Jones, Liverpool, a Roger Edwards, Wyddgrug. Nid anmhriodol ydyw croniclo fod Anerchiad arall hefyd wedi ei gyflwyno i Mr. Roberts yn yr un cyfarfod gan drigolion tref Abertawe, i ddangos y gwerthfawrogiad mawr sydd o'i ymdrech a'i lwyddiant yn yr un peth.

Cyfarfyddodd y gwahanol bwyllgorau am 8 o'r gloch bore dydd Mercher.

### AIL EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Dydd Mercher, am* 9 30.

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan Mr. Robert Hughes, Rhydlydan.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfodydd blaenorol.

X. Cyflwynwyd Adroddiad Cyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Dramor am y flwyddyn diweddaf gan y Parch. Josiah Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Gymdeithas, a Mr. John Griffith, Egremont, y Trysorydd. Rhoddwyd crynodeb o'r Adroddiad am y Genadaeth yn Llydaw a Cassia, gydag enghreifftiau lawer sydd yn dangos yn eglur fod y gwaith da yn myned rhagddo gyda chyflymdra mawr, yr hyn sydd yn dra chalonogol i gyfeillion y Gymdeithas. Nodwyd am un pentref lled fawr, yn yr hwn y mae yr holl drigolion ond dau yn aelodau eglwysig, ac y mae y ddau hyny yn wrandäwyr cyson. Yr oedd yr Adroddiad arianol y mwyaf llwyddiannus yn hanes y Gymdeithas. Yr oedd cynnydd yn nghyfraniadau at gyllid y Gymdeithas dros £700 yn y flwyddyn, a'r cynnydd hwn wedi cymeryd lle ymron bob Cyfarfod Misol,—ac yr oedd y cyfraniadau yn helaethach na'r treuliadau i'r swm o £761.

Dangosir fod cynnydd o ddwy yn nifer yr eglwysi. Er fod 48 wedi gwrthgilio, 55 wedi eu diarddel, a 52 wedi marw, yr oedd y nifer yn yr eglwysi yn fwy ar ddiwedd y flwyddyn nag ar ei dechre o 245. Mae y nifer yn yr Ysgolion Sabbothol yn 389, cynnydd o 263. Mae nifer y gwrandäwyr, hyny ydyw y rhai sydd wedi rhoddi i fyny arferion Paganaidd, ac yn arfer dyfod i foddion gras a than addysg Gristionogol, yn 3448; mwy o 325 nag yn nghyfrif y flwyddyn flaenorol. Er fod cyfanswm y casgliadau, £196, yn ymddangos yn llai na'r llynedd, mae y casgliadau arferol yn fwy. Yn Cherra gwnaed ymdrech neillduol yn 1881 gyda'r capel, yr hyn a barai fod cyfanswm y flwyddyn hono yn agos i £80 yn fwy na'r un flaenorol. Dengys y cyfrifon arianol fod cynnydd yn y casgliadau o'r gwahanol Gyfarfodydd Misol yn ystod y flwyddyn o £761 2s. 4c.

Cynnygiwyd gan y Parch. W. John, Penybont, ac eiliwyd gan y Parch. William Williams, Abertawe, ac attegwyd gan Mr. Edward Griffith, U.H., Dolgellau, a phenderfynwyd,—Fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn gyda llawenydd a'i gadarnhâu, a'n bod mewn modd arbenig yn dymuno cydnabod daioni yr Arglwydd tuag at y Gymdeithas y flwyddyn hon.

Darllenwyd llythyr oddiwrth yr eglwysi yn yr India mewn atebiad i'r llythyr a anfonwyd atynt oddiwrth y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn y Bala y flwyddyn ddiweddaf.

Offrymwyd gweddi o ddiolchgarwch i Dduw pob gras gan y Parch. Joseph Thomas, Carno, am ei diriondeb a'i ras tuag at y Gymdeithas yn ystod y flwyddyn ddiweddaf.

XI. Cynnygiwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., eiliwyd gan Mr. Ellis Jones, U.H., Gwredog, a chefnogwyd gan y Parch. Roger Edwards, a phenderfynwyd,—Ein bod fel Cymanfa yn llawenychu yn fawr yn yr ymdrechiadau ychwanegol a wnaed yn ystod y flwyddyn ddiweddaf tuag at gasgliadau y Gymdeithas, yn enwedig trwy sefydliad cangen-gymdeithasau mewn amrywiol fanau ymhlith ein chwïorydd, a chan y plant trwy eu cyfraniadau eu hunain, a'r hyn a gesglir ganddynt oddiwrth eraill, a'n bod yn hyderu y bydd i'r holl leoedd sydd wedi dechre llafurio yn y cyfeiriad hwn barhâu yn yr un haelioni; ac ni a ddymunem annog ein cyfeillion trwy yr holl siroedd i gymeryd yr achos hwn i fyny yn yr un ysbryd gwresog ag y gwneir eisoes gan gryn nifer, gan gofio o hyd mai pan yn ymdrech ein hunain y gallwn ddysgwyl wyneb yr Arglwydd gyda ni.

XII. Cyflwynwyd yn enw Pwyllgor Cyfarwyddwr Sirol y Gymdeithas, gan yr Ysgrifenydd, Mr. John Caredig Jones, o Rhyl, yn enedigol o Gapel Dewi, Sir Aberteifi, fel ymgeisydd i fod yn genadwr. Galwyd ar Mr. Jones i anerch y Gymanfa;

ac ar ol iddo roi ychydig o hanes ei fywyd a'i benderfyniad i fyned yn genadwr, cynnygiwyd gan y Parch. Rees Jones, Port Dinorwic, eiliwyd gan Mr. Thomas Phillips, U.H., Abertawe, a chefnogwyd gan y Parch. O. T. Astley, M.A., Llandudno, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Ein bod yn derbyn Mr. Jones fel ymgeisydd i fod yn genadwr, a'i fod i gael ei anfon allan mor fuan ag y byddo yn bosibl, a bod yr amgylchiadau ynglŷn â'i anfoniad allan i gael eu hymddiried i'r Cyfeisteddfod Gweithiol yn Liverpool.

XIII. Cynnygiwyd gan y Parch. Rees Jones, fel Cadeirydd cyfarfod y Cyfarwyddwyr, cefnogwyd gan Mr. James James, Pentremawr, a phenderfynwyd yn unfrydol,—

1. Ein bod yn dymuno ar i bob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth benu ar ryw fis neillduol yn yr hwn i wneuthur y casgliad tuag at y Genadaeth Dramor, ac annog yr eglwysi i wneyd pob ymdrech i gwblhâu y casgliad o fewn y mis hwnw.

2. Ar fod i sylw neillduol gael ei alw at yr achos cenadol yn y Cyfarfod Misol, am fis neu ddau cyn yr adeg y gwneir y casgliad.

3. Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd Cenadol perthynol i bob Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd Cenadol perthynol i'r Sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysorydd Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y Sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad Blynyddol.

4. Fod blwyddyn y Genadaeth i derfynu rhagllaw ar Rhagfyr 31ain, ac nad oes dim arian a dderbynir ar ol y diwrnod hwnw i fod yn y cyfrif am y flwyddyn hono.

XIV. Cynnygiwyd gan y Parch. Joseph Thomas, Carno, ac eiliwyd gan y Parch. David Edwards, Casnewydd, a phenderfynwyd — Fod diolchgarwch y Gymanfa yn cael ei roddi i'r *Auditors*, Mri. D. P. Davies a Joseph Harrison Jones, a bod dymuniad iddynt barhâu yn eu swydd.

XV. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, ac eiliwyd gan y Parch. Aaron Davies, Pontlottyn, a phenderfynwyd,—Fod diolchgarwch gwresocaf y Gymanfa yn cael ei roddi i Swyddogion—y Trysorydd, yr Ysgrifenydd, Trysorydd Cyllid y Gweddwon, a'r Meddyg—ac Aelodau Cyfeisteddfod Gweithiol y Gymdeithas yn Liverpool, a bod y tri brawd canlynol yn cael eu penodi ar y Cyfeisteddfod yn lle y tri sydd yn myned allan o'u swydd:—Mri. John Rice Lewis, Bank; W. Morgan, Elm Bank; a T. J. Thomas, 102, Northumberland Terrace. A ganlyn yw enwau y Cyfeisteddfod Gweithiol:—Parchedigion Dr. Thomas, R. Lumley, Dr. Hughes, Hugh Jones, O. Jones, B.A., O. Owens, John Thomas, B.A., G. Ellis, M.A., Peter Jones, D. Williams; a Mri. Dr. Gee, Jno. Williams, Moss Bank; Thomas Lloyd, Everton Road; Eliezer Pugh, Falkner Street; John Roberts, A.S., Hope Street; D. Hughes, U.H., St. Domingo Grove; W. Patton, Newland Street; T. Jones, Garston; J. H. Jones, Thackeray Street; Jno. Lewis, Hope Street; E. Owen, Breeze Hill; S. Williams, Trewilym; John Rice Lewis, Bank; W. Morgan, Elm Bank; a T. J. Thomas, 102, Northumberland Terrace.

XVI. Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol gan Bwyllgor Cofgolofn y Parch. Daniel Rowlands, gan y Parch. Thomas Levi:—

Mae y gorchwyl hwn o'r diwedd yn agos a'i orphen. Yn ol y cyttundeb yr oedd y gofgolofn i fod yn barod ar y laf o Fehefin, ond y mae amgylchiadau wedi rhwystro fel na bydd wedi ei gorphen hyd Awst. Yr ydys wedi talu £300 i'r gwneuthurwr, a bydd oddeutu £265 i'w talu ar ei gorpheniad. Swm yr arian a gasglwyd ydyw oddeutu £465; felly y maent yn agos £100 yn fyr. Penderfynwyd, er ceisio gwneyd y diffyg hwn i fyny, i gael dwy fil a hanner o *photographs* o'r Gofgolofn, i'w gwerthu am 1s. yr un. Cymerwyd y rhyddid i wasgaru y rhai hyn yn sypynau bychain yma a thraw, i gyfeillion. Yr ydym yn dysgwyl yn hyderus y daw y rhai hyn â'r rhan fwyaf o'r arian fydd yn eisieu i mewn, os nid yr oll.

Dymunir ar y Gymanfa hefyd i nodi Pwyllgor bychan i benodi ar nifer o frodyr i ddyfod i gysegriad y Golofn.—THOMAS LEVI, *Ysgrifenydd.*

XVII. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, a chefnogwyd gan y Parch. J. Hughes, D.D.,—Fod yn dda genym ddeall fod Cofgolofn y Parch. Daniel Rowlands ymron yn barod i'w gosod i fyny a'i dadorchuddio yn Llangeitho, a'n bod yn dadgan ein diolchgarwch i'r Parch. Thos. Levi (yn awr Llywydd y Gymanfa), am ei lafur diwyd a llwyddiannus o'r dechre i gyfodi y golofn, ac yn taer ddymuno ar i'n cyfeillion yr anfonwyd atynt yr argraffluniau o'r golofn fod yn ffyddlawn gyda'r gwerthiant o honynt, tuag at orphen talu y treuliadau cysylltiol â'r Gofgolofn.

Apwyntiwyd y personau canlynol yn Bwyllgor i ddewis brodyr i fod yn bresennol yn amser dadorchuddiad y Gofgolofn yn Llangeitho:—y Llywydd, y ddau Ysgrifenydd, y Parch. Rees Jones, a Mr. R. J. Davies, Cwrtmawr.

XVIII. *Pwyllgor Arianol.*—Cyflwynwyd Adroddiad y Pwyllgor hwn gan Mr. James James, a Mr. Edward Griffith, a phenderfynwyd ei fod i gael ei dderbyn. A ganlyn yw yr Adroddiad:—

Presennol: Mri. Edwd. Griffith, Dolgellau (Cadeirydd); H. Lloyd Harries; James Davies, Cwmafon; R. J. Davies, Cwrtmawr; J. Lewis, Liverpool; William Morgan, Liverpool; T. Lewis, Bangor; John Hughes, Llyslew; D. J. Davies, Aberystwyth; E. Jones, Gwredog; James James, Llanrhystyd (Ysgrifenydd).

1. Darllenwyd a chymeradwywyd Cyfrifon y Trysorydd, yr hyn sydd fel y canlyn:—

*R. J. Davies in Account with the General Assembly—Year ending May,* 1883.

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mewn llaw Mehefin, 1882 ........ | 206 | 3 | 9 |
| Messrs. D. Williams & Son, Llyfr Hymnau Saesoneg... ............ | 13 | 2 | 0 |
| Messrs. P. M. Evans & Son, Dyddiadur Cymraeg.... ......... | 35 | 0 | 0 |
| Messrs. Hughes & Son, Llyfr Hymnau Cymraeg ............. | 82 | 11 | 0 |
| Messrs. Hughes & Son, *Cyffes Ffydd* ..... ......................... | 7 | 16 | 0 |
| Messrs. Hughes & Son, Dyddiadur Saesoneg ...... .............. | 10 | 0 | 0 |
| | £354 | 12 | 9 |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Swyddogion y Gymanfa ........... | 30 | 0 | 0 |
| Golygwyr y Dyddiaduron ......... | 24 | 0 | 0 |
| Y *Treasury* am 1881.................. | 24 | 14 | 9 |
| Argraffu Adroddiad ar Feddiannau y Cyfundeb.................... | 55 | 3 | 0 |
| Treuliadau, &c., ynglŷn â'r cyfryw .................................. | 15 | 0 | 0 |
| Amrywion ................................ | 3 | 11 | 0 |
| Mewn llaw ............................... | 202 | 4 | 0 |
| | £354 | 12 | 9 |

Examined and found correct,

EDWARD GRIFFITH,
HUGH LL. HARRIES.

*May 30th,* 1883.

—2. Penderfynwyd ein bod yn cyflwyno y diolchgarwch gwresocaf i Mr. R. J. Davies, y Trysorydd, am ei wasanaeth y flwyddyn ddiweddaf, a'i fod i barhâu yn ei swydd am y flwyddyn ddyfodol.—3. Penderfynwyd ein bod yn dymuno ar y Trysorydd i ad-dalu y swm o £100 yn ol i gyfrif y "Drysorfa," o'r arian a fenthyciwyd er ys rhai blynyddoedd yn ol. — EDWARD GRIFFITH, *Cadeirydd;* JAMES JAMES, *Ysgrifenydd.*

XIX. Pwyllgor i appwyntio brodyr i gynnrychioli y Gymanfa yn nghyfarfod yr Undeb Presbyteraidd yn Belfast, Mehefin 24ain, 1884. Derbyniwyd Adroddiad y Pwyllgor hwn; ac ar gynnygiad y Parch. Dr. Hughes, Liverpool, ac eiliad y Parch. Owen Evans, Bolton, penderfynwyd fod y brodyr canlynol yn cael eu happwyntio:—y Parchedigion Dr. Owen Thomas, a Dr. John Hughes; W. Williams, Abertawe; William Evans, M.A., Pembroke Dock; T. J. Wheldon, B.A., Blaenau Ffestiniog; C. T. Astley, M.A., Llandudno; a Joseph Evans, Tredegar; a Mri. Richard Davies, A.S.; John Roberts, A.S.; Thomas Phillips (Ieu). Abertawe; Thomas Lewis, Bangor; E. Griffith, U.H., Dolgellau; a Hugh Lloyd Harries. Penderfynwyd hefyd fod y brodyr canlynol yn Bwyllgor Gohebiaethol ynglŷn â Chyfarfod yr Undeb:—y Parchedigion William Williams, T. J. Wheldon, B.A., a Joseph Evans.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. Owen Thomas, D.D.

### TRYDYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Am 2 o'r gloch y prydnawn.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Thomas Edwards, Cwmystwyth.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XX. Cyflwynwyd i'r Gymanfa gan y Parch. Roger Edwards, Mr. Richard Lewis, Sebastopol, Australia, yr hwn a roddodd ychydig o hanes crefydd ymysg y Cymry yn Australia, a hysbysodd fod angen dirfawr yn y wlad hono am bregethwyr Cymreig. Cynnygiwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., ac eiliwyd gan y Parch. Ll. Llewelyn, Briton Ferry, a phenderfynwyd, — Fod yn dda iawn genym weled ein hanwyl frawd o Australia yn ein plith fel un sydd yn cynnrychioli ein heglwysi yn y wlad bellenig hono, a'n bod yn dymuno rhoddi iddo ein derbyniad mwyaf croesawgar; ein bod yn cydymdeimlo â'n brodyr yn Australia yn eu hamddifadrwydd o freintiau yr efengyl, ac yn cymhell ein brodyr ieuainc i gymeryd sylw o'u cais, ac yn anfon atynt ein cofion serchocaf, gan ddymuno iddynt bob llwyddiant.

XXI. Cyflwynwyd Adroddiad Pwyllgor y Llyfrau, gan y Parch. J. M. Jones, Caerdydd, Ysgrifenydd y Pwyllgor. Mae yr adroddiad fel y canlyn:—

1. Darllenwyd a chadarnhäwyd cofnodau y Pwyllgor blaenorol.

2. Hysbysodd yr archwilwyr i gyfrifon y ddwy DRYSORFA a'r *Treasury*, eu bod wedi cael y cyfan yn gywir ac eglur. Derbyniwyd yr adroddiad, a chan fod cwyn fod y DRYSORFA a THRYSORFA Y PLANT yn ddiweddar yn cyrhaedd rhai cymydogaethau, penerfynwyd fod yr holl gopi i fod yn llaw yr Argraffwyr ar neu cyn yr 20fed o bob mis.

3. Cafodd y Parchedigion T. Levi, Roger Edwards, Robert Roberts, Dolgellau; D. Edwards, Newport; W. Williams, Swansea; Owen Jones, B.A., Liverpool; Joseph Evans, Tredegar; J. M. Jones, Caerdydd; Mri. R. J. Davies, Llangeitho; D. Roberts, Liverpool; T. Harries, Trellan; E. Griffith, Dolgellau; T. Phillips, Swansea; R. Rowland, Ffestiniog; a T. Lewis, Bangor, eu

penodi i fod yn Is-Bwyllgor, i ystyried cyhoeddiad y DRYSORFA a THRYSORFA Y PLANT ar ol y flwyddyn 1884; a chan y rhaid dyfod i gyttundeb ar y mater cyn diwedd y flwyddyn hon rhoddwyd llawn awdurdod iddynt i'w ddwyn i derfyniad. Dymunwyd arnynt hefyd drefnu moddion i gynnyddu cylchrediad ein Cyhoeddiadau Misol, ac i hwyluso eu dyfodiad i wahanol ardaloedd. Yr Ysgrifenydd i fod yn gynnullydd.

4. Achos y *Treasury*. Teimlai y Pwyllgor yn ofidus o herwydd fod cylchrediad y *Treasury*, yr unig gyhoeddiad Saesoneg a fedd y Cyfundeb, yn cyson leihâu o fis i fis. Ymddengys hefyd fod y cyttundeb rhwng y Cyfundeb a'r Cyhoeddwr presennol yn terfynu gyda y flwyddyn 1884, ac y rhaid penderfynu beth wneir ar ol hyny cyn diwedd y flwyddyn hon. Cyflwynwyd holl achos y *Treasury* i'r Is-Bwyllgor blaenorol, gan roddi yr un awdurdod iddynt ag yn yr achos hwnw.

5. Penodwyd Mr. R. J. Davies, Llangeitho, i fod yn gyd-drysorydd â Messrs. P. M. Evans & Son mewn cysylltiad â'r ddwy DRYSORFA yn y North & South Wales Bank yn lle Mr. W. Evans, Caer.

6. Dymunwyd ar y Parchedigion Owen Thomas, D.D., Liverpool, a W. Williams, Swansea, i ddwyn achos ein Cyhoeddiadau Misol ger bron y gwahanol Gymdeithasfäoedd i'r dyben o geisio helaethu eu cylchrediad, ac i ddarpar anerchiad i'w anfon at yr holl eglwysi trwy y wlad, i'r un amcan.

7. Penderfynwyd fod copi o'n Cyhoeddiadau Misol, ac hefyd o Gylchlythyrau ein Cymdeithasfäoedd yn y De a'r Gogledd, yn cael ei anfon o hyn allan i'r ddwy Athrofa.

8. Adroddiad yr Is-Bwyllgor am y *Llyfr Hymnau Saesoneg*. Mynegent fod y rhan fwyaf o'r copïau oedd ar law o hono wedi cael eu gwerthu. Yr oeddynt wedi derbyn *tenders* oddiwrth dri argraffydd gyda golwg ar gyhoeddi y llyfr yn y dyfodol, ac yr oeddent wedi derbyn *tender* D. Williams & Son, Llanelly. Cadarnhäwyd yr hyn a wnaeth yr Is-bwyllgor, a dymunwyd arnynt ddyfod i ddealltwriaeth â'r cyhoeddwyr gyda golwg ar rif y copïau fydd ar law ar ddiwedd y cyttundeb.

9. Cafwyd adroddiad oddiwrth Is-bwyllgor gwerthiant llyfrau, yn hysbysu y nifer sydd mewn *stock* o'r *Cyffes Ffydd*, &c. Penderfynwyd eu bod i barhâu yn eu swydd am flwyddyn eto, a bod yr Ysgrifenydd i anfon at Mr. D. H. Jones, Dolgellau, i geisio ganddo anfon y *balance* sydd yn ei law i Drysorydd Cyffredinol y Gymanfa.

10. *Cofiant Mr. Charles o'r Bala*. Derbyniwyd llythyr oddiwrth y Parch. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth, yn hysbysu ei fod yn casglu defnyddiau at y Cofiant hwn, ac yn gofyn pa un ai Cymraeg ai Saesoneg y byddai oreu iddo fod. Penderfynwyd ein bod yn gadael hyn, ynghyd a maint a phris y llyfr, i ddoethineb Mr. Edwards, a'n bod yn barnu mai gwell iddo ei gyhoeddi ar ei gyfrifoldeb ei hun, a'n bod ninnau fel Cymanfa yn dadgan ein parodrwydd i roddi pob cefnogaeth iddo.

11. Teimlid yn llawen fod y Llyfr Tonau ar gyfer y cynnulleidfäoedd Saesoneg y bwriedid ei gyhoeddi gan Mr. David Jenkins, Mus. Bac., Aberystwyth, yn awr allan o'r wasg, a phenderfynwyd ein bod yn rhoddi cefnogaeth wresog iddo.

12. *Welsh Calvinistic Methodism*. Hysbysodd y Parch. W. Williams, Abertawe, ei fod yn parotoi argraffiad newydd o'r llyfr uchod, a bod cryn lawer o ddefnyddiau ychwanegol ganddo i'w gosod ynddo, ac y byddai yn debyg o fod yn barod cyn y Gymanfa nesaf. Penderfynwyd ein bod yn ein gefnogi yn wresog yn hyn. ac yn dymuno ar bwy bynag sydd yn meddu gwybodaeth am bethau ynglŷn â Methodistiaeth nad ydynt yn argraffedig yn barod, ymohebu â Mr. Williams, fel y gellir diogelu cymaint o'r hanes ag sydd bosibl.

13. Teimlid fod perygl i goffadwriaeth lliaws o hen frodyr duwiol, a rhai o honynt yn ddynion o enwogrwydd mawr, gael eu llwyr anghofio, am na byddai rhywrai yn ymgymeryd âg ysgrifenu eu hanes. Penderfynwyd anfon cenadwri trwy y ddwy Gymdeithasfa at y gwahanol Gyfarfodydd Misol, i geisio ganddynt benodi rhywrai cymhwys i gasglu cymaint sydd ar gof a chadw o hanes y rhai hyn, fel na byddo eu coffadwriaeth yn syrthio i ebargofiant.

14. Cafodd Mri. R. Rowland a D. J. Davies eu penodi yn archwilwyr i gyfrifon y ddwy DRYSORFA a'r *Treasury* am y flwyddyn 1883, a diolchwyd iddynt am eu gwasanaeth y flwyddyn flaenorol.

15. Penderfynwyd fod Golygwyr y Cyhoeddiadau Misol a'r Dyddiaduron i barhâu am flwyddyn eto gyda'r un gydnabyddiaeth ag o'r blaen.

16. Rhoddwyd caniatâd i gael llyfr cofnodau newydd i'r Gymanfa.

17. Mynegwyd mai y rhai sydd yn myned allan o'u swydd eleni ydyw y Parchedigion Dr. Edwards, Bala; W. Williams, Swansea; Mri. T. Lewis, Bangor; D. J. Davies, Aberystwyth, ond eu bod yn agored i gael eu hailethol.

Cynnygiwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., ac eiliwyd gan y Parch. Rees Jones, Portdinorwic, a phenderfynwyd fod yr adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu.

XXII. Ail etholwyd y brodyr canlynol trwy bleidlais ddirgel, yn aelodau o Bwyllgor y Llyfrau:— Y Parchn. Dr. Edwards, Bala, W. Williams, a Mri. Thomas Lewis, Bangor, a D. Jenkin Davies, Aberystwyth.

XXIII. Cynnygiwyd gan y Parch. Dr. Hughes, a chefnogwyd gan y Parch. Francis Jones, Waenfawr, fod attodiad i gael ei ffurfio i'r Llyfr Hymnau Seisonig, a bod y Parchedigion John Cynddylan Jones, a C. T. Astley, M.A., i gael eu hychwanegu at y brodyr fu yn casglu y llyfr sydd eisoes yn cael ei ddefnyddio, ac i ddyfod â'u hadroddiad i mewn i'r Gymanfa nesaf.

XXIV. Cyflwynwyd adroddiad y Pwyllgor gyda golwg ar gael tir i Adeiladu Capelau, gan Mr. John Jones, U.H., Llanfyllin. Cynnygiwyd gan Mr. Jones, ac

eiliwyd gan Mr. David Morgan, Canton, a phenderfynwyd ein bod yn derbyn yr adroddiad, gyda diolchgarwch i'r Cyfeisteddfod, ac yn arbenig i Mr. John Jones, a'r Parch. Robert Roberts, Dolgellau, am eu trafferth mawr a'u medrusrwydd yn cael yr adroddiad hwn oddiamgylch, a'n bod yn dymuno ei gyflwyno i ystyriaeth y Cymdeithasfäoedd a'r Cyfarfodydd Misol.

XXV. Cynnygiwyd gan y Parch. Owen Thomas, D.D., ac eiliwyd gan y Parch. Owen Evans, Bolton, a phenderfynwyd fod dymuniad ar Mr. Jones a'r Parch. Robert Roberts i barotoi crynodeb o'r adroddiad yn yr iaith Saesoneg.

XXVI. Cynnygiwyd gan y Parch. Edward Parry, ac eiliwyd gan y Parch. John Jones, F.R.G.S., Pwllheli, Fod y Pwyllgor a appwyntiwyd i ymchwilio i Feddiannau y Cyfundeb i gynnyg Dirprwyaeth i fyned at brif dirfeddiannwyr Cymru o barth cael y tir ar ba un y mae ein capelau yn eiddo i'r Cyfundeb. Hefyd fod y Parch. Robert Roberts, Dolgellau, a Meistri E. Griffith, Dolgellau, John Jones, Llanfyllin, a R. J. Davies, Cwrtmawr, i fod yn Bwyllgor i ddwyn Adroddiad Blynyddol i'r Gymanfa Gyffredinol o'r Capelau yn ystod y flwyddyn flaenorol a fyddont wedi eu sicrhâu yn feddiant i'r Cyfundeb, ac hefyd o'r personau fyddont wedi caniatâu neu wrthod ceisiadau ein brodyr yn y Siroedd. Ac hefyd ein bod yn dymuno galw sylw y Cymdeithasfäoedd Chwarterol at y priodoldeb, ac yn wir, yr angenrheidrwydd, ar fod mesurau yn cael eu defnyddio gan yr holl Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, i sicrhâu hyd y gellir, a hyny heb oedi, y capelau hyny yn feddiant i'r Cyfundeb, sydd wedi eu hadeiladu ar diroedd sydd ar brydlesoedd, ac mewn rhai amgylchiadau heb weithred na phrydles, gan fod pob rhwystr cyfreithiol bellach wedi ei symud ymaith i werthu, cyfnewid, ac o dan amgylchiadau arbenig i roddi tir i adeiladu capelau.

XXVII. Cyflwynwyd Adroddiad y Pwyllgor i Dderbyn Cenadwriaethau oddiwrth Bersonau Unigol, gan Mr. Thomas Jones Parry, Abertilery. Cynnygiwyd gan Mr. Thomas Jones Parry, a chefnogwyd gan Mr. John Davies, Bontddu,—Ein bod yn taer ddymuno ar y Llywodraeth i basio deddf i gau tafarnau ar Ddydd yr Arglwydd ar gyfer Sir Fynwy, yn gyffelyb i'r un a basiwyd ar gyfer Siroedd eraill y Dywysogaeth; a'n bod hefyd yn cydnabod gyda diolchgarwch y daioni dirfawr sydd wedi deilliaw oddiwrth y Mesur hwnw yn barod. Hefyd, fod Deiseb yn cael ei hanfon i'r Senedd i brysuro y cyfryw Fesur, a chopi o'r penderfyniad hwn i Mr. Gladstone. Penodwyd y Parchedigion David Edwards, Casnewydd; Aaron Davies, Pontlottyn; a Mr. Thomas Jones Parry, i barotôi y cyfryw Ddeiseb.

XXVIII. Cynnygiwyd gan y Parch. Aaron Davies, Pontlottyn, ac eiliwyd gan y Parch. Francis Jones, Waenfawr, a phenderfynwyd, fod Llywydd y Gymanfa a Mr. R. J. Davies, Cwrtmawr, yn cael eu hanfon gyda'r ddirprwyaeth o Aberystwyth at y Llywodraeth gyda chais am barhâu Coleg Aberystwyth fel trydydd Coleg i Gymru, a bod Deiseb yn cael ei hanfon i'r un perwyl.

Terfynwyd trwy weddi gan y Parch. Roger Edwards.

Yn yr hwyr am 6 30 o'r gloch, cynnaliwyd *Cyfarfod Cenadol* Cyhoeddus yn Nghapel y Trinity. Dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. Richard Williams, Llangwyllog. Llywyddwyd y cyfarfod gan Mr Edward Griffith, U.H., Dolgellau. Ar ol anerchiad gan y Llywydd, galwyd ar y Parch. Josiah Thomas, M.A., Ysgrifenydd y Gymdeithas, yr hwn a roddodd grynodeb o sefyllfa a gweithrediadau y Gymdeithas. Pan ddechreuodd y Gymdeithas ar ei gwaith ar Fryniau Khasia, nid oedd yr un cristion yno; erbyn hyn y mae yno 36 o eglwysi, 62 o bentrefydd ymha rai y pregethir bob Sabboth; y mae yno 2417 o aelodau eglwysig, ymgeiswyr am aelodaeth a'u plant; y mae 102 o ysgolion ddyddiol, ymha rai y mae 2417 o blant dan addysg fydol a chrefyddol. Y mae gwêdd fwy siriol hefyd ar yr achos Cenadol yn Llydaw nag a welwyd erioed o'r blaen. Hysbyswyd gan Mr. John Griffith, Egremont, y Trysorydd, fod yr achos yn ei wêdd arianol yn galonogol iawn, gan fod cynnydd yn y cyfraniadau y flwyddyn ddiweddaf tuag at Gyllid y Gymdeithas yn helaethach o'r holl Gyfarfodydd Misol oddigerth dau neu dri. Cymerwyd rhan ymhellach yn y cyfarfod gan y Parch. Evan Phillips, Castellnewydd; John Ceredig Jones, yr ymgeisydd cenadol, a Mr. Thomas Lewis, Bangor. Cynnygiwyd gan y Parch. Joseph Thomas, Carno, eiliwyd gan y Parch. C. T. Astley, M.A., Llandudno, a phenderfynwyd yn unfrydol,—Ein bod yn dymuno dadgan ein llawenydd diffuant a'n diolchgarwch i'r Arglwydd am y llwyddiant nodedig sydd wedi bod ar y gwaith cenadol yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, ac am yr haelioni y galluogwyd ein heglwysi i'w ddangos at yr achos; a dymunir annog ein holl frodyr a'n chwiorydd a'r ieuenctyd, i barhâu eto, ac i ymhelaethu yn eu gweithgarwch tuag at ddwyn y gwaith ymlaen yn egnïol ac yn effeithiol.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan Dr. Thomas.

*(I barhâu.)*

## CYMDEITHASFA LLANDDEUSANT, SIR GAERFYRDDIN.

MEHEFIN 5, 6, A'R 7FED, 1883.

LLYWYDD,—Y Parch. GEORGE WILLIAMS, Llysyfran.

DYDD MAWRTH, Y 5ED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am 6 o'r gloch.*

I. Cymerwyd enwau y cynnrychiolwyr.
II. Cafwyd y cenadwriaethau canlynol.

*O Sir Gaerfyrddin.*—O berthynas i'r Rheolau Newyddion i godi Pregethwyr a gyhoeddwyd yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Aberystwyth, penderfynwyd,—"Ein bod yn dymuno dadgan ein barn mai gwell fyddai iglynu wrth y Rheolau presennol y rhai a basiwyd yn Nghymdeithasfa Pontypridd, Awst, 1875; ond y byddai yn dda genym dderbyn unrhyw awgrym a fyddo yn tueddu i ddiogelu gonestrwydd yn eu gweinyddiad." —T. JAMES, *Ysg.*

*O'r Henaduriaeth*:—Anwyl Frawd,—Gosodwyd arnaf gan yr Henaduriaeth, a gynnaliwyd yn Mozerah, Ebrill 19eg, i'ch hysbysu, a thrwoch chwi y Gymdeithasfa Chwarterol a gynnelir yn Llanddeusant, ein bod wedi derbyn llythyr oddiwrth y Parch Josiah Thomas, Brynmawr, yn hysbysu ei fod wedi penderfynu tori ei gysylltiad yn hollol â'r Cyfundeb. Ar ol llawn ystyriaeth, penderfynwyd yn unfrydol ein bod yn gofyn i'r Gymdeithasfa dderbyn ei ymddiswyddiad. Barnai yr Henaduriaeth mai anfuddiol fyddai gosod manylion yr achos ger bron y Gymdeithasfa, gan nad oedd Mr. Thomas yn ei lythyr yn appelio yn erbyn unrhyw benderfyniad o eiddo llys is; ond os bydd y brodyr cynnull edig yna yn barnu hyny yn anghenrheidiol, bydd ein cynnrychiolydd, y Parch. B. Lewis, Ebbw Vale, yn gallu rhoddi eglurhâd cyflawn o'r achos.—Yr eiddoch &c., E. WILLIAMS, *Ysg.*

III. Galwyd sylw at yr adroddiad ar feddiannau y Cyfundeb a gyflwynwyd i'r Gymanfa Gyffredinol yn Abertawe, a'r penderfyniadau ar hyny. Bydd yr adroddiad yn cael ei anfon allan i'r Siroedd yn fuan. Dymunwyd ar y Cyfarfodydd Misol dalu sylw dioed iddo, fel y galler cael ymdriniaeth ar y mater yn Nghymdeithasfa Awst.

IV. Penderfynwyd fod Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol i gyfarfod yn Nghaerfyrddin prydnawn dydd Llun o flaen Cymdeithasfa y Dinas, am 4 o'r gloch. Dymunir ar yr aelodau anfon eu henwau wythnos ymlaen llaw yn ddiffael i Mr. W. Wigley, Caerfyrddin.

V. Cyflwynwyd yr adroddiad canlynol ar Ddyled Capelau y Cyfundeb yn y Deheudir.

Ymgyfarfu y Pwyllgor a benodwyd yn Nghymdeithasfa Aberystwyth, i benderfynu ar ryw gynllun effeithiol i leihâu y ddyled sydd ar ein Haddoldai, yn Nghapel y *Trinity*, Abertawe, am 3 o'r gloch, ac yn Nghapel *Argyle* am 7, dydd Llun, Mai 28ain, 1883.—Yr oedd yn bresennol y Parchn. William Williams, D. Anthony, D. Phillips, D. Thorne Evans, Abertawe; T. Levi, Morris Morgan, J. Morgan Jones, Aaron Davies, George Phillips, T. Mortimer Green, T. Richards, Llansamlet; Edwin Williams, M.A., Aberdâr; Rhys Evans, Llanwrtyd; W. Selwyn Davies, Abertawe; a J. Wyndham Lewis, Caerfyrddin; Mri. T. Phillips, hyn., Y.H., Abertawe; R. J. Davies, Y.H., Cwrtmawr; T. Phillips, ieu., Y.H. Abertawe; Dr. E. Davies, Abertawe; John Jones, Merthyr; J. James, Pentremawr; W. Williams, Treforris; T. Jones Parry, Abertillery; D. Thomas, Llangyfelach; D. Davies, Crug-glâs; T. Jones, Babell, ac E. Thomas, Hebron, Abertawe.—Y Parch. William Williams, Abertawe, i fod yn Gadeirydd. Y Parch J. Wyndham Lewis, Caerfyrddin, yn Ysgrifenydd.—Ar ol ystyriaeth faith a phwyllog, pasiwyd fod y penderfyniadau canlynol i gael eu cyflwyno i Gymdeithasfa Llanddeusant.—1. Fod ymdrech egniol i gael ei gwneyd yn ystod y pum' mlynedd nesaf i gasglu £25,000 drwy roddion a thanysgrifiadau; fod hanner y swm i gael ei gadw i'w benthyca yn ddi-lôg i'r eglwysi hyny sydd dan faich o ddyled, a bod yr hanner arall i'w ddefnyddio i ysgafnhâu beichiau yr eglwysi sydd yn sefyll mewn anghen uniongyrchol am gynnorthwy.—2. Fod y Parch. W. Williams i gael ei benodi yn Ysgrifenydd Mygedol, and fod pob Sir i ddewis ei Hysgrifenydd neillduol ei hun.

Ymholwyd i deimlad y gwahanol Siroedd ar yr achos hwn; ac wedi ymddyddan arno yn ei amrywiol gysylltiadau, gohiriwyd yr ymdriniaeth hyd y cyfarfod 1 o'r gloch dydd Mercher. Cyttunid ar y pwysigrwydd o wneyd ymdrech dioed i ysgafnhâu y ddyled, yn enwedig ar y capelau sydd yn suddo dan y baich, ond nid oeddid eto yn addfed i benderfynu ar gynllun i ddwyn hyny oddiamgylch.

VI. Bu sylw ar y llythyr o'r Henaduriaeth mewn perthynas i ymadawiad y Parch. Josiah Thomas, Brynmawr, â'r Cyfundeb. Wedi cael eglurhâd gan Gynnrychiolydd yr Henaduriaeth, barnwyd y dylem anfon llythyr at y *Bristol Presbytery*, â pha un y mae Mr. Thomas wedi ymuno, i'w hysbysu o achos ei ymadawiad, a'r ymraniad sydd wedi cymeryd lle o ganlyniad.

DYDD MERCHER, Y 6ED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am* 8 30 *o'r gloch.*

Cafwyd ymdriniaeth ar y Rheolau ar godi Pregethwyr a ddygwyd ger bron yn y Gymdeithasfa flaenorol, ac wedi eu cy-

mharu â'n Rheolau presennol yn y Deheudir, ac â'r rhai a gynnygir gan Gymdeithasfa y Gogledd, penderfynwyd eu cyflwyno i sylw y Cyfarfodydd Misol, a bod iddynt ddwyn eu hadroddiad i Gymdeithasfa Hydref.

*Cyfarfodydd Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahân, am* 10 *o'r gloch.*

Yn nghyfarfod y Pregethwyr dywedodd y brodyr canlynol eu profiad: y Parchn. T. Thomas, Llanymddyfri, J. Lewis, Caerfyrddin, a Daniel Williams, Caio. Yr oedd yr ymddyddan yn nodedig o fuddiol, a chafwyd pleser mawr trwy y teimladau dwys a hyfryd a adroddid.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am* 1 *o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf fod yn y Dinas, Sir Benfro, Awst 7, 8, a'r 9. Cyfarfod cyntaf y Cyfeisteddfod i fod prydnawn dydd Mawrth y 7fed, am 3 o'r gloch.

II. Darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

1. Cafwyd anerchiadau cynhes mewn cysylltiad â dyled capelau a helaethiad yr achos. Gohiriwyd yr ystyriaeth i'r Cyfarfod Cyffredinol am 1 o'r gloch.—2. Beth a ddylem ei wneuthur er cael gweinidogaeth yr efengyl yn fwy effeithiol? Nodwyd, y dylem gredu yr efengyl yn fwy trwyadl, amcanu ei byw yn fwy cyson, ei gwrandaw yn fwy siriol, ymddyddan yn barchus am ein Pregethwyr, gweddïo mwy yn y dirgel am lwyddiant mwy amlwg ar y weinidogaeth.—3. Awgrymwyd i'r Cyfarfod nesaf y priodoldeb o neillduo diwrnod o ddiolchgarwch am ddaioni yr Arglwydd, ac i ofyn am iddo ymweled yn nerth ei ras â'n gwlad.—WILLIAM GRIFFITHS, *Cadeirydd;* JOHN JONES, *Ysgrifenydd.*

Wedi sylwadau pellach gan amryw frodyr ar y pethau uchod, penderfynwyd ein bod yn annog yr holl eglwysi i neillduo diwrnod, sef dydd Mercher, yr 20fed o'r mis hwn, hyd y byddo modd, i gydnabod yr Arglwydd am ei ddoniau i ni y flwyddyn hon, ac i weddïo am iddo ymweled drachefn â ni trwy ddylanwadau achubol a sancteiddiol ei Ysbryd.

III. Rhoddwyd hanes yr achos yn Sir Gaerfyrddin gan y Parchn. J. Owen, Burry Port; T. Thomas, Llanymddyfri; R. Salmon, Llansadwrn, a T. James, M.A., Llanelli. Gwêdd hapus a chalonogol iawn a ddangosid ar yr achos yn y Sir. Annogwyd y brodyr i barhâu yn eu llafur, ac ar iddynt wneyd mwy o ymdrech gyda'r casgliad at y Cenadiaethau, yr hwn sydd yn bresennol yn bur isel.

IV. Cafwyd anerchiad gan y Parch. W. Williams, Abertawe, ar Ddyled ein Capelau, yn gosod allan yn fanwl fel y mae amryw leoedd yn Siroedd Morganwg, Mynwy, Caerfyrddin, a Brycheiniog, yn cael eu llethu gan y baich trwm sydd yn aros arnynt, ac yn appelio yn daer am gymhorth i gyfarfod â'r cyfyngder hwn. Annogwyd y Cyfarfodydd Misol i roddi yr ystyriaeth ddyladwy i'r achos pwysig hwn, a dyfod â'u barn i Gymdeithasfa Hydref.

DYDD IAU, Y 7FED.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am* 8 *o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Gwnaethpwyd coffâd parchus am y brawd Thomas Davies, Sirhowy, yr hwn oedd ŵr ieuanc llafurus, ac wedi cyrhaedd gradd dda mewn gwybodaeth, ac yn hynod am ei gymeriad diargyhoedd a didramgwydd.

III. Penderfynwyd anfon cofion cynhes at y Parchn. David Hughes, Llanelli, a William Prytherch, Ferryside, y rhai oeddynt yn methu bod yn bresennol gan lesgedd a henaint—y ddau, yn ol y doniau a roddwyd iddynt, wedi cael y fraint o dreulio oes faith yn ngwasanaeth eu Harglwydd, a'u llafur yn eu gwahanol gylchoedd wedi ei fendithio mewn modd amlwg.

IV. Ymdriniwyd â'r mater gohiriedig o'r Gymdeithasfa flaenorol, sef, "PERSON YR ARGLWYDD IESU." Gwnaethpwyd sylwadau rhagorol ar yr athrawiaeth hon fel "Dirgelwch mawr duwioldeb," ac eto fel y dirgelwch sydd yn esbonio pob dirgelwch llai, ac wedi cael y dylanwad mwyaf ar y byd. Hyderid y byddai y sylwadau gwerthfawr a wnaed yn foddion i'n dwyn i astudio yr hanes yn yr Efengylau yn y wêdd hon, fel y mae yn cynnwys arwyddion o Ddwyfoldeb Person y Gwaredwr, ac fel y mae yr hanes yn gyson â'r honiad ofnadwy a wneir ac yn cario allan yr hyn a osodir i lawr.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

*Y Moddion Cyhoeddus.*

Nos Fawrth, pregethodd y Parchn. John Morgan, Rhiwbwys, ac Ebenezer Jones, Castellnedd.

Dydd Mercher, am 3 y prydnawn ar y maes, y Parchn. R. Thomas, Llanllyfni, a G. Parry, Aberystwyth. Nos Fercher, pregethwyd yn nghapelau y Gwynfe, Talsarn, Myddfai, Llangadog, a Twyn llanau.

Dydd Iau, am 6 yn y boreu, y Parchn. S. Price, Gower, a T. J. Morgan, Penygarn.

Ar y maes am 10, y Parchn. W. Williams, Abertawe, ac E. Matthews; am 2, y Parchn. D. James, Llaneurwg, a James Donne, Llangefni; ac am 6, y Parchn. T. E. Edwards, Rhymni, ac E. Matthews.

**MARWOLAETH Y PARCH. WILLIAM HERBERT, CYSEGR, ARFON.**

BORE Sabbath, Mai 20fed, bu farw y brawd ffyddlawn a chymeradwy hwn, ar ol bod er ys rhai misoedd, fel yr oedd ei geraint a'i gyfeillion yn gweled yn rhy amlwg, yn dangos trwy lesgedd corfforol, ei fod yn prysuro i ymadael â'r byd hwn. Yr oedd yn 66 mlwydd oed, ac wedi bod yn pregethu tua 33 mlynedd; felly wedi dechre pregethu ar ol cyrhaedd addfedrwydd oedran, deall, a phrofiad: ac yr oedd wedi ei ordeinio i holl waith y weinidogaeth er ys 27 mlynedd. Yr oedd efe yn ŵr synwyrol, a'i ddoethineb yn trigo gyda challineb, yn ddarllenydd mawr ac yn feddyliwr dwfn, ac er nad yn bregethwr poblogaidd yn ol cyfrifiad y werin, yr oedd pawb a hoffent bregeth ragorol ei mater, efengylaidd ei hysbryd, ac eglur a difrifol ei hansawdd, yn mawrhâu ei weinidogaeth. Ceid ef yn fedrus a defnyddiol iawn yn nghyfarfodydd yr Ysgolion Sabbothol; ac yr oedd wedi cyrhaedd safle uchel a pharchus yn Nghyfarfodydd Misol Arfon. Bu farw yn y mwynhâd o dangnefedd heddychol. Ymgasglodd llu mawr i'w angladd ddydd Gwener, y 25ain o Fai, pryd y gweinyddwyd wrth y tŷ, ac wrth y bedd, gan y Parchn. W. Jones, Porthdinorwig; David Morris; J. Jones, Bryn'rodyn; Rees Jones; ac E. Jones, Caernarfon. Rhoed ei gorff i orwedd yn mynwent Llanfair-is-gaer, ar lân Menai.

---

**Y SABBATH A CHANU CYSTADLEUOL.**

YN y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn y Talwrn, Môn, ddechre'r mis diweddaf, penderfynwyd,—"Tra yr ydym yn dymuno rhoddi pob cefnogaeth i ganiadaeth gysegredig, ein bod yn y modd cryfaf yn condemnio gwaith cantorion a chantoresau yn ymdyru at eu gilydd ar ddydd yr Arglwydd er mwyn ymarfer â chanu corawl ar gyfer eisteddfodau a chyfarfodydd llenyddol; a'n bod yn annog ein gilydd na byddo i neb o honom ganiatâu i'r capelau, nac un ystafell gysylltiedig â hwy, fod yn agored ar y fath amser i'r cyfryw waith, yr hyn a olygir genym yn halogiad ar sancteiddrwydd y Sabbath a'r lle."

# Bywgraffiaeth.

**MR. THOMAS ELLIS, PLAS MAWR, SWYDD FFLINT.**

MAB ydoedd Mr. Thomas Ellis i Edward a Margaret Ellis, Rhosgoch, Caerwys. Ganwyd iddynt dri o feibion a thair o ferched. Yr oedd y tri mab yn ddynion llafurus gyda'r ddau fyd. Parhaodd dau o honynt yn ffyddlawn a gweithgar gyda'r Methodistiaid Calfinaidd hyd ddiwedd eu hoes; ond parodd rhyw amgylchiadau i'w brawd Edward ymuno â'r Annibynwyr.

Mae hanes boreuol y dynion hyn yn taflu goleuni am eu rhagoriaeth fel darllenwyr a duwinyddion. Yr oedd yr hen weinidog, y Parch. John Humphreys, Caerwys, yn arfer cynnal cyfarfodydd darllen ar nosweithiau yr wythnos. Yr oedd amryw ddynion ieuainc yn ymgynnull ato i ddarllen ac i esbonio yr Ysgrythyrau, ac yn eu mysg yr oedd y brodyr hyn. Dywedir y byddent gyda'u gilydd weithiau hyd y bore dranoeth. Hysbyswyd ni fod holl ysgoleigion duwinyddol John Humphreys yn Nghaerwys wedi troi allan yn ddynion tra defnyddiol gydag achos crefydd yn ei holl ranau. Gwnaeth hen ddysgyblion Caerwys wasanaeth gwerthfawr i grefydd drwy sefydlu Ysgolion Sabbothol yma a thraw yn y cymydogaethau cylchynol. Cofus genyf glywed Mr. Thomas Ellis yn dyweyd iddo ef a chyfaill iddo ddyfod o ysgol Caerwys i gymydogaeth Trelogan i ddechre Ysgol Sabbothol dros driugain mlynedd yn ol. Cynnelid hi y pryd hwnw mewn tai a hen ysguboriau. Ac felly y mae yn naturiol i ni yn Nhrelogan edrych ar Mr. Ellis fel tad yr Ysgol Sabbothol, a sylfaenydd yr achos Methodistaidd, yma.

Bu Mr. Ellis yn hynod hapus yn newisiad gwraig, sef Miss Jane Stealey, merch Mr. a Mrs. Joseph a Margaret Stealey, Plascapten, Newmarket. Mae teulu Plascapten yn adnabyddus i'r rhan fwyaf o hen bregethwyr y Gogledd, a llawer o'r Dê, am eu caredigrwydd i weision yr Arglwydd Iesu ac achos crefydd. Yr enwog Barch. W. Morris, Tyddewi, a ddywedai, "Y mae tŷ Mr. Stealey yn debyg iawn i'r nef; y ffordd iddo o Drelogan yn dywyll ac yn arw; ond wedi cyrhaedd, mae y croesaw mor fawr, a'r ymgeledd mor grwn, nes peri anghofio y cyfan o'r anhawsderau yn myned yno." Rhoddwyd ychydig o hynodion am Joseph Stealey yn y DRYSORFA gan y diweddar Barch. W. Morris, Rhuddlan; ond mae yn ddrwg genym na roddwyd dim am yr hen chwaer, neu yn hytrach y fam yn Israel, Mrs. Stealey, yr hon oedd mor dra chyfoethog o rinweddau. Yr oedd ei llaw a'i chalon yn agored i gynnorthwyo y tlawd a'r anghenus, ac i wneyd yr hyn a allai gydag achos crefydd. Wedi i Mr. Thomas Ellis ymuno mewn glân briodas â Miss Stealey, darfu iddynt ymsefydlu mewn tyddyn o'r enw Cefn, yn Nant y Fflint. Wedi trigiannu yno am tua phum' mlynedd, darfu iddynt symud i'r Plas Mawr, lle y buont o hyny hyd ddiwedd eu hoes. Ganwyd iddynt wyth o feibion, o ba rai y mae chwech yn fyw, a'r oll yn aelodau, a rhai yn flaenoriaid, gyda'r Methodistiaid Calfinaidd. Mae hyn yn llefaru yn uchel am "gynghor y tad, a chyfraith y fam."

Dewiswyd Mr. Thomas Ellis yn flaenor tua saith mlynedd ar hugain yn ol, a chyflawnodd y swydd yn ffyddlawn a gonest hyd y diwedd. Ac yn wir yr oedd efe yn flaenor mewn gwirionedd yn Nhrelogan ymhell cyn bod yn flaenor mewn enw.

Yr oedd amryw hynodion yn Mr. Ellis gwerth eu cofnodi a'u hefelychu.

*Yr oedd yn un o ddarllenwyr goreu yr oes.* Darllenai yn bwyllog a deallus, gydag agwedd a llais addas. Ac fel y mae darllenwr da yn esboniwr da, felly yr oedd yr hen dad hwn. Yr oedd gwrando yn astud arno yn darllen pennod o'r Bibl yn wrandawiad ac esboniad arni yr un pryd. Yr oedd ei fedr fel darllenwr yn gymhwysder ynddo tuag at fod yn athraw buddiol a llwyddiannus. Yn fuan wedi ymsefydlu yn y Plas Mawr, darfu iddo ef a chyfeillion o ysgol Carmel, ddechre Ysgol Sabbothol yn y Plascapten, y tyddyn agosaf ato, yr hon sydd yn aros yn y gymydogaeth byth ar ol hyny. Gwnaeth Mr. Ellis, a theulu Plascapten, lawer o ddaioni yn y gymydogaeth trwy yr ysgol hon. Bu efe hefyd yn cynnal cyfarfodydd darllen ar nosweithiau yr wythnos am lawer o flynyddoedd, pryd y byddai amryw yn ymgasglu ato o Newmarket, Trelogan, a chymydogaeth Plascapten. Bu y cyfarfod hwn yn foddion i addysgu llawer o ddynion ieuainc i ddarllen y Bibl yn fedrus, ac i gael deall da yn yr Ysgrythyrau.

*Yr oedd efe yn zelog o blaid Dirwest.* Yr oedd yn llwyrymwrthodwr oddiwrth bob math o ddiodydd meddwol er ys yn agos i hanner can' mlynedd. Yr wyf yn dra sicr mai dyma un rheswm dros burdeb yr eglwys yn Nhrelogan oddiwrth ymyfed a diotta. Mae esiamplau y blaenoriaid yn argraffu yn ddwfn ar yr eglwys, yn enwedig ar yr ieuenctyd. Pe byddai ein holl swyddogion eglwysig yn ddirwestwyr, byddai ein heglwysi yn fwy pur, a llai o achos am geryddon eglwysig.

*Nodwedd amlwg arno oedd ei dduwioldeb gartref.* Nid rhaid oedd i was neu forwyn fod yn y Plas Mawr namyn un diwrnod na ddeallai fod crefydd yn y teulu. Yr oedd yr addoliad teuluaidd yn cael ei gynnal gyda chysondeb. Ynglŷn â hyn, da genym eto grybwyll enw Mrs. Ellis, yr hon a gynnaliai freichiau ei phriod i ddarllen y Bibl a gweddïo Duw hwyr a bore. Byddai yn dra gofalus mewn parotoi pob peth angenrheidiol er ei galonogi; estynai y Bibl ar y bwrdd, a byddai yr holl blant, yn gystal â'r gweision a'r morwynion, yn eu gwahanol leoedd, yn barod i wrando gair Duw a chyfarch gorsedd gras mewn gweddi.

*Hynodrwydd arall ynddo oedd ei ysbryd tangnefeddus mewn byd ac eglwys.* Yr ydym yn gwybod am rai engreifftiau a ddygwyddasant rhyngddo â'i gymydogion flynyddoedd yn ol ag yr oeddym yn gorfod credu fod ei gymdeithas gwastadol â'i Dduw wedi argraffu yn ddwfn ar ei ysbryd, gan mor dawel yr ymddygai, er fod ei wrthwynebwyr yn ymddwyn ar gam. Yr oedd yn well ganddo ddyoddef peth er mwyn ei enw Ef. Yr oedd yr un prydferthwch i'w ganfod ynddo ynglŷn â chrefydd. Casbeth ganddo ef oedd ymgecru ymhob cylch. Yr oedd yn dra gochelgar gyda hyn yn y *society*. Clywsom ef yn dyweyd lawer gwaith pan fyddai yn gweled tuedd mewn rhywun i godi dadl ymrysongar, "Gadewch i ni wneyd ymchwiliad pellach," a byddai yr ymgais yn cael ei darostwng ar unwaith.

*Yr oedd yn rhagorol am ei wybodaeth eang o'r Ysgrythyrau.* Yr oedd wedi trysori llawer o air Duw yn ei gôf. Ac yr oedd yn ddarllenwr cyson a diwyd arno hyd ddiwedd ei oes. Yr oedd yn meddu barn addfed at athrawiaeth y Bibl, yr hyn oedd yn gymhwysder mawr ynddo i fod yn flaenor adeiladol. Tynai wersi iddo ei hun ac eraill oddiwrth bob pregeth a wrandawai. Ond yr oedd yn amlwg mai ei hoff bregethau oedd y rhai a oleuent y deall ac a argyhoeddent y gydwybod. Yr oedd yn hoff iawn o siarad mewn cymdeithas am bethau crefyddol; a siaradai lawer yn y cyfarfod eglwysig am athrawiaethau mawr y Bibl, yr athrawiaethau am fywyd. Darluniai ddyfnder trueni dyn wrth natur, digonolrwydd Crist fel aberth, a'r anghenrheidrwydd am gredu a meithrin ffydd fwyfwy ynddo yn barhâus. Ceid ganddo yn fynych ddywediadau tarawiadol. Pan yn claddu chwaer grefyddol, gwnaeth sylw yn y fynwent ar y gair hwnw, "Yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth." "Nyni a'i pïa hi yma," meddai. Ar ei wely angeu, coffäwyd y gair wrtho, pan yr atebodd mewn ysbryd llawen, "Ië! buddugoliaeth ydi hi i gyd!"

Yr oedd yn hawdd deall er ys misoedd ei fod yn addfedu i wlad well, a hiraethai am fyned yno. Ni bu ond ychydig wythnosau yn wael; ymddangosai yn hollol dawel a darostyngedig i ewyllys Duw; ac yr oedd yn hunanfeddiannol hyd y diwedd, gan drefnu pob peth ynglŷn â'i gladdedigaeth. Bu farw mewn llawn sicrwydd gobaith, Tachwedd 13, 1880, yn 87 mlwydd oed. Claddwyd ef yn mynwent Caerwys, yn yr un bedd â'i anwyl briod, yr hon oedd wedi ei ragflaenu i'r nefoedd er ys pum'. mlynedd.

EDWARD PIERCE.

*Trelogan.*

---

MR. ROBERT THOMAS, RHOSLLANERCHRUGOG.

*Gan y Parch.* EZRA JONES.

UN o'r pethau mwyaf dyddorol ydyw darllen adgofion am ddyn, yn enwedig os bydd rhyw hynodion neu rinweddau yn perthyn i'r cyfryw. Mae bywgraffiad yn gyfwng i ddwyn y gorphenol i'r presennol—y pell yn agos, a'r cymeriad yn fyw ger bron ein meddwl, nes yr ydym yn teimlo ein bod wedi ein gosod i gymdeithasu â'r gwrthddrych er ei fod wedi gadael y ddaear.

Yr oedd yn perthyn i Robert Thomas lawer o rinweddau a ystyriwn yn werth eu croniclo, ac yn deilwng o efelychiad. Ni chawn yn yr ysgrif hon ond nodi yn fyr rai o brif linellau ei gymeriad. Ac er mantais i gyfleu yr ychydig hyny yn glir, cawn sylwi arno yn y tri chysylltiad canlynol: fel dyn, fel blaenor, ac fel cristion.

I. FEL DYN.

O ran y dyn oddiallan, yr oedd yn meddu ar gorff cadarn, a cherddai yn dalgryf a syth, a'i holl ysgogiadau yn arddangos penderfynolrwydd diysgog. Ar brydiau gostyngai ei aeliau nes ymddangos fel pe buasai yn ddyn diserch a digymdeithas. Ond rywfodd nid

oedd ef ei hun â'i olwg yn cyttuno o gwbl; oblegid i bawb oedd yn ei adwaen, yr oedd efe y dyn mwyaf cymdeithasgar a siriol. Ymgomiai yn llawen am weithrediadau y Senedd, oblegid yr oedd yn rhyddfrydwr i'r gwraidd mewn pethau gwladol yn gystal â chrefyddol. Siriol iawn yr ymddyddanai am weinidogion yr efengyl, a chyda phleser yr adgofiai bregethau grymus yr hen bregethwyr, nes codi bryd addoli ynom wrth ei wrando.

Nodwedd arbenig yn perthyn i'w gymeriad oedd didwylledd a gostyngeiddrwydd. Nis gallai oddef gwneyd dim dan gudd, ond pob peth yn eglur ac uniawn. Yr oedd gweithredoedd a dynion twyllodrus yn ddirmygus yn ei olwg. Yr oedd yn rhy onest ac unplyg i allu rhagrithio; dywedai yr hyn a ystyriai oedd iawn yn ddifloesgni, am mai nid boddloni dynion oedd ei amcan; ond "gwneuthur ewyllys Duw o'r galon." Yr oedd yn un y gellid rhoddi yr ymddiried llwyraf ynddo; cadwai gyfrinach fel y bedd; ni byddai byth berygl iddo fradychu ei gyfaill. O herwydd hyn cyrhaeddodd safle uchel yn y gymydogaeth. Yr oedd iddo air da gan bawb a chan y gwirionedd ei hun. Mae ei enw yn perarogli, a'i goffadwriaeth yn fendigedig. Hawdd oedd canfod ei safle ymysg ei gymydogion gan y parch a delid i'w goffadwriaeth ddydd ei angladd. Yr oedd y masnachdai cauedig, a'r galar a feddiannai y lliaws trigolion, yn brawf diymwad fod un a edmygid yn fawr yn cael ei gladdu y diwrnod hwnw. Gelwir ambell i ddyn yn un "di-ddrwg di-dda," hyny yw, y rhinweddau a'r ffaeleddau yn gyfatebol; eithr nid un felly oedd Robert Thomas. Os ydoedd efe yn meddu ar ffaeleddau o gwbl, yr oedd ei rinweddau yn eu gorbwyso, ac yn eu cuddio i gyd o'r golwg. Fel y sylwodd un brawd: "Fod ambell i ardd yn cael ei thrin mor ragorol, ac yn dwyn y fath doraeth o ffrwyth, nes y mae yn anmhosibl canfod y chwŷn gan faint y ffrwythau." Un felly oedd ein cyfaill ymadawedig; yr oedd ei ffaeleddau yn cael eu cuddio gan liosogrwydd ei rinweddau.

II. Fel blaenor.

Dewiswyd ef i'r swydd hon yn ddyn cymharol ieuanc, a llanwodd hi yn anrhydeddus yn ngwir ystyr y gair am 35 mlynedd. Daeth yn fuan, o herwydd ei ragoriaethau, i ymddangos yn uwch o'i ysgwyddau na'i gydswyddogion; a disgynodd yr arweiniad yn naturiol i'w law ef. Gallwn nodi tair elfen oedd yn ei wneyd yn flaenor mor hynod o gymeradwy.

1. *Ei sel.* Mae ambell i flaenor mor oer gyda holl ranau y gwaith nes rhewi pawb a phobpeth o'i gylch; ac os bydd yr arweinydd yn llwfr a difywyd, mae yr holl fyddin yn sicr o fod yn gyffelyb. Ond am ein cyfaill Robert Thomas, yr oedd efe yn llawn bywyd, "yn wresog yn yr ysbryd." Gwnai bobpeth yn y fath wres nes creu brwdfrydedd yn mhawb o'i gylch, nid mewn un adran, ond yn gyffredinol. Cynnrychiolai bob dosbarth o'r eglwys. Er ei fod yn hen mewn dyddiau, yr oedd ei ysbryd yn ieuengaidd; symudai ymlaen gyda'r bobl ieuainc mor hwylus â phe y buasai yn un o honynt, a gwnai hyny heb dramgwyddo yr hen. Dywedai mor gynhes a zelog ar bob casgliad nes ennill pawb i deimlo mai eu dyledswydd a'u braint oedd cyfranu at achos yr Arglwydd.

2. *Ei haelioni.* Nid areithio y byddai efe ar ryw gasgliad a thybio y gwnai araeth y tro yn lle arian, ond yr oedd yn un parod i gyfranu at bob achos da. Ei lwybr ef i gyrhaedd llogellau eraill oedd suddo i'w logell ei hun yn gyntaf. Yr oedd yn ofalus iawn am y tlawd, a chyfranai yn helaeth er diwallu eu hanghenion mewn amrywiol ffyrdd; a phriodol iawn y gellir dyweyd am dano, "Y cwyn ni wyddai a chwiliai allan." Nid rhoddi er mwyn ei weled a derbyn clodforedd gan ddynion y byddai, ond o wir deilyngdod yr achos. Bu ei dŷ hefyd yn agored am flynyddoedd i dderbyn gweinidogion yr efengyl; a llawenydd i'w galon oedd cael eu cymdeithas a gweini arnynt.

3. *Ei ffyddlondeb.* Bu yn ffyddlawn i bob moddion o ras. Ni byddai y capel rywfodd yn iawn heb fod Robert Thomas yn ei le. Er fod ganddo fasnach helaeth i ofalu am dani, ac y buasai ei absennoldeb yn aml yn esgusodol; eto nid oedd neb yn fwy ffyddlawn nag efe i bob moddion o ras. Ymdrechodd wneyd y goreu o'r ddau fyd; a diau i'r Meistr ddyweyd wrtho, "Da, was da, dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Fel hyn y bu ein cyfaill yn blaenori yn ngwir ystyr y gair. Mae yr eglwys yn teimlo fod ei le yn wag, ac fod colofn gadarn wedi ei symud, oedd dan yr achos yn y Capel Mawr.

III. Fel cristion.

Tystiolaeth pawb am dano ydoedd, "Wele Israeliad yn wir." Yr oedd yn feddiannol ar y ddwy elfen sydd yn nodweddu pob cristion dysglaer: yn un mawr mewn gweddi; ac yn glynu wrth ddarllen.

1. *Fel gweddïwr.* Dyma lle yr oedd ei gryfder a'i nerth. Treuliai gyfran o'i amser bob dydd yn y dirgel i weddïo; yr oedd hyn wedi myned yn ail natur ynddo, a byddai ffrwyth ei weddïau dirgel yn cael ei deimlo yn y moddion cyhoeddus: "A'th Dad yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg." Ystyrid ef yn un o'r gweddïwyr mwyaf gafaelgar ac effeithiol yn y Sir. Byddai cyn pen ychydig fynydau wedi myned i'r cysegr sancteiddiolaf at Dduw ei hun; a thrwy ei daerni yn gorchfygu gydag ef, ac mewn canlyniad yn derbyn y fendith. Cofus genyf glywed y Parch. Roger Edwards yn dyweyd iddo ddyfod un bore Sabboth o'r Wyddgrug i'r Rhos, ac fod Mr. Thomas yn dechre yr oedfa pan y daeth i mewn; a thystiolaeth Mr. Edwards ydoedd na chlywodd neb erioed yn gweddïo gyda mwy o nerth a dylanwad. Teimlai y gogoniant Dwyfol yn llanw y lle, nes ei gwneyd yn orchwyl hawdd iawn pregethu y bore hwnw. Dywedai y buasai yn ddigon o dâl ganddo ddyfod bob cam o'r Wyddgrug i glywed y weddi hono, yr hon a wnaeth y fath argraff arno nas gall amser ei ddileu.

Yr oedd ei deimlad yn llawn o grefyddolder. Anfynych y clywid neb yn gallu dyweyd "*Amen*" mor gynhes ag ef, a ddyrchafai o ddyfnder ei galon. Nid gair llanw, diystyr, a gwag, fyddai ei "*Amen*" ef,

eithr mynegiad o ddymuniad ei enaid; a cherddai fel trydan trwy y gynnulleidfa nes codi eraill i hwyl nefolaidd.

Yr oedd dylanwad ei weddïau i'w teimlo yn ei dŷ gartref. Yr oedd yr awyrgylch yn grefyddol, ac yn cario argraff ddymunol ar bawb a dalai ymweliad yno. Yr oedd naws mor grefyddol ar yr holl ymddyddanion nes eich dwyn i deimlo eich bod yn derbyn lles ac ymgeledd dan ei gronglwyd.

2. *Fel darllenwr.* Darllenodd lawer ar hyd ei oes ar lyfrau da, ond ei hoff lyfr oedd y Bibl; ac yn ei flynyddoedd olaf lloffai feusydd toreithiog yr Efengylau—bywyd a marwolaeth yr Arglwydd Iesu; ac wrth fyfyrio ar ddyoddefiadau y Gwaredwr, teimlai bob gofid o'r eiddo ei hun yn diflanu yn ddim. Darllenai lawer hefyd ar *Arfogaeth y Cristion* gan Gurnal, a *Gorphwysfa y Saint* gan Baxter. Yr oedd wedi ei weithio i deimlo, fel Paul, "chwant i'w ddattod a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw." Pan oedd yn teimlo awr ei ymddattodiad yn agosâu, dywedai yr hen bennill hwnw gyda nerth:—

"Syfled iechyd, syfled bywyd,
Cnawd a natur yn gyttun,
Byth ni syfla ammod heddwch,
Hen gyttundeb Tri yn Un."

Ehedodd ei enaid i'r trigfanau nefol, gan sisial yr adnod hono, "A chariad tragywyddol y'th gerais, am hyny tynais di â thrugaredd." Fel y bu fyw y bu farw.

Wrth ddiweddu ein hysgrif, ein dymuniad ydyw ar i'r Arglwydd godi llawer o swyddogion cyffelyb, ac i ddeuparth o'i ysbryd ddisgyn ar ei anwyl fab, yr hwn sydd erbyn hyn wedi ei ddewis i lanw yr un swydd, yn yr un eglwys a'i ddiweddar dalentog dad.

---

MR. W. F. WILLIAMS, LLANERCHYMEDD.

CAFODD Mr. Williams ei eni a'i fagu yn Llanerchymedd; ac wedi iddo fod saith mlynedd yn dilyn ei alwedigaeth—masnachydd neu siopwr—yn Liverpool, ymsefydlodd yn y pentref dan sylw hyd ei farwolaeth. Yr oedd ei fam yn un o hen golofnau yr achos Methodistaidd, yn Llanerchymedd, ac yn hen wreigan ddiwyd, onest, lygadgraff. Fel y gallesid dysgwyl, yr oedd efe wedi cael addysg foreuol dda mewn egwyddorion crefydd. Dysgodd beidio bod yn wastraffus o'i febyd, a daeth yn fuan iawn i gofleidio cynnildeb a darbodaeth, fel hanfodion i'w lwyddiant masnachol; a thrwy ei ysbryd tangnefeddus, a'i anian onest a diymhongar, daeth yn un o'r masnachwyr mwyaf llwyddiannus yn y lle; a pherchid ef yn fawr gan wreng a boneddig fel dyn at ei air.

Gŵr canolog o ran taldra, syth o gorff ydoedd, glân ei bryd, peraidd ei lais, lledneis ei ymadrodd, a phert ei ddawn. Gwisgai arddull boneddigeiddrwydd yn ei holl ymddygiadau—o ran edrychiad, tymher, ac ymddygiad ymhob man ac ar bob amgylchiad, gan fod yn eithaf rhydd oddiwrth gymhendod a rhodres. Yr oedd yn gallu bod yn siriol heb fod yn gellweirus, llawen heb fod yn ffol, zelog heb fod yn benboeth, a ffyddlawn heb fod yn Phariseaidd. Gwyddai ymha le, wrth bwy, a pheth i siarad. Os digiai, medrai guddio hyny yn hollol; neu os cafodd ei ofidio, nid oedd neb yn cael gwybod hyny.

Yr ydoedd yn un o'r dynion hyny a elwir "*thorough business man.*" Pan yn ei fasnachdy fe ganfyddai y mwyaf pwl ei ddirnadaeth fod Mr. W. F. Williams yn gallu rheoli ei fasnach gyda gallu naturiol i'w alwedigaeth. Yr oedd yn hynod fanwl a chraffus; mynai gael pob peth yn ei le ac yn ei amser. Ni byddai yn gadael dim dan yfory a allai efe ei wneuthur heddyw. Ni byddai yn arfer pwyso gormod ar ei gof; gwell oedd ganddo ymddiried i'w ysgrifell. Yr oedd ei brydlondeb gyda phob gorchwyl ac at bob ymrwymiad yn dra chanmoladwy. Ni byddai raid i neb aros i ddysgwyl am dano, byddai yn sicr o fod at ei amser, fel y cloc, ys dywedir. A pha brysurdeb bynag a fyddai yn y *shop*, ceid ei weled ef yn tynu ei oriawr at amser dechre y cwrdd gweddi neu y seiat; a phan byddai yr amser i fyny, efe, gyda phob prysurdeb, a'i trefnai ei hunan yn barod at y capel. Ac nid oedd dim yn ei flino yn fwy na gweled dynion yn fusgrell a dieg gyda eu gorchwylion, ac yn enwedig gyda gwaith yr Arglwydd.

Mewn *societies* a chyrddau gweddi ni allai oddef annybendod. Bu yn flaenor gyda'r Methodistiaid am 35 o flynyddau. Yr oedd yn dra gofalus dros hyrwyddiant yr achos, ac hefyd dros deimladau y rhai cynnulledig, fel nas goddefai iddynt aros am y dechre, nac ychwaith ddyheu am y diwedd. Teithiodd lawer i'r Cyfarfodydd Misol, ac nid oedd dim yn ormod ganddo i'w wneuthur gyda'r achos mawr. Yr oedd yn hynod zelog gyda'r Ysgol Sul. Cyn rhanu y Dosbarth Gogleddol yn ddwy adran, bu efe yn ysgrifenydd y Cyfarfod Ysgol am yspaid hir, yr hwn waith a gyflawnodd yn fywiog a threfnus, gan ddilyn yr oll drwy lawer o anhawsderau, yn deilwng o'r enw ysgrifenydd gweithgar.

Anturiwn ei alw yn wir gyfaill. Gallem arllwys cyfrinach iddo heb un gradd o ofn cael ein bradychu ganddo. Yr oedd yn dysgu crefydd yn y teulu gartref, ac yn arbenig am ei brydlondeb i gadw y ddyledswydd deuluaidd. Gellid gweled drws y *shop* yn nghauad at yr un adeg bob bore drwy y flwyddyn, tra y byddai efe gyda'i deulu yn troi ei wyneb at ei Dad yn y nefoedd, i ofyn am ei hyfforddiad, ac i ddiolch am ei nawdd. Byddai yn dadleu addewidion Duw, ac yn taer erfyn am eu cyflawniad ar ran yr eglwys ac ar ran ei deulu gyda nerth gwir weddïwr.

O ran ei brofiad ni byddai un amser yn hyderus iawn, eithr ar ymylu tua'r ochr ofnus gyda'i gysuron crefyddol. Ond yr oedd yn gwella at y diwedd. Tystiodd y byddai llawer o adnodau o'r Bibl yn glynu yn ei gof ac yn llewyrchu ei feddwl, a bod Crist wrth ei fodd ymhob peth; a gallai siarad am ei ymddattodiad gyda'i hunan-feddiant llawnaf. Bu farw megys yr oedd yn byw mewn tangnefedd. Hunodd yn yr Iesu ar

yr 22ain o Ionawr, 1881. Cafodd angladd anrhydeddus, fel ag y gellid gweled yn ddigon amlwg ei fod yn fawr ei barch yn mynwesau pentrefwyr Llanerchymedd, a chan Fethodistiaid Calfinaidd Môn. Ei Dduw ef a fyddo yn Dduw i'w weddw a'i blant a'u hymddiried hwythau ynddo.

O. L. W.

# Amrywiaethau.

### LLAFAR YR OLWYNION.

Trwy Rock Island, Savana, Freeport, Beloit, ac Elkhorn, aethum i Milwaukee. Wrth gael ar y daith fawr hon y fath unffurfiaeth o wastadeddau, ac ymgynefinno â newid cyd-deithwyr, cawn fy hun fynychaf yn anystyriol o bob peth allanol, ac megys wedi ymgolli ynof fy hun. Yn yr hunan-anialwch hwnw aeth cleciadau parhâus ac undônog yr olwynion a'r relliau i syrthio ar fy nghlust yn ddrychiolaethau geiriau. Pa fodd y daethpwyd i ddeall fod petris America yn dyweyd *Bob-Bob-White*, a'r aderyn arall yn dyweyd *Whip-poor-Will*, a'r ddylluan yn Nghymru yn dyweyd *Ceirch-du-du-yn-fy nghwdyn i!* Pa fodd yr aeth dynion mor ynfyd âg i gredu fod coed, adeiladau, delwau, &c., yn llefaru geiriau, a myned yn filoedd i ymgynghori â hwy dan y dybiaeth eu bod yn oraclau goruwch-ddynol neu ddnwiau? Y mae i un gael ei syfrdanu yn hir gan dorf ddidâw y gerbydres yn ei feddiannu â'r cyffelyb ynfydrwydd. Geiriau anorphen ambell gerbydres fyddai *Paid-bod-yn-grac, Paid-bod-yn-grac*. Iaith un arall fyddai *Rattle-and-rout-the rat, Rattle-and-rout-the-rat*. Clywais ar fy nheithiau oll ugeiniau o'r cyfryw ymadroddion, llawn o gydseiniaid celyd. Wedi deall fod y gerbydres yn llefaru rhyw eiriau, byddai yn annichon cael gan hòno lefaru dim arall. Y geiriau didâw y tro hwn oeddynt *A-Yankee-trick, A-Yankee-trick.* Gwrando y geiriau digrifol yna yn cael eu clecian bob eiliad, ac yn hanner gwylio gwrthddrychau allanol yn rhedeg tuag yn ôl yr oeddwn, pan yn sydyn y gwelais geffyl yn chwyfio ei droed blaen yn yr awyr, ac yn methu symud o'r fàn, a cheffyl arall yn methu codi. Rhuthrodd y bobl at y ffenestri. Safodd y gerbydres eiliad. Aeth dyn (meddyg) allan, ac ymaith â ni. Yr oedd gwagen yn cynnwys dyn a dwy ddynes, yn cael ei thynu gan ddau geffyl, yn ceisio croesi y rheilffordd, pan darāwyd hwy gan y gerbydres. Lluchiwyd hwy i wahanol gyfeiriadau. Ni chafodd neb ei ladd yn y fàn; ond beth fu y canlyniad ni chefais glywed. Nid oedd ond yr anffawd i'r trueiniaid yn llanw fy meddwl dros amser wedi hyn. Pan lonyddodd fy nheimladau, cefais fod yr olwynion a'r relliau eto yn parhâu i ddannod i'w gilydd, neu i rywun arall, *A Yankee-trick, A Yankee-trick*, oblegid yr hyn a ddygwyddodd. Dyna ranau o fy nheithiau i. Gallai teithiau gŵr doethach gynnwys llai o wagedd. "Gan y gwirion y ceir y gwir."—*Dros Gyfanfor a Chyfandir.*

### DIOLCHIADAU.

Yn y Cyfarfod Misol diweddaf y bu ynddo, gweddïai yn gynhes ac effeithiol iawn yn nechre y seiat yr ail ddiwrnod, pan yr oedd pawb, fel y clywsom, yn foddfa o ddagrau. Dywedai, "Diolch i ti, nefol Dad, am ein cadw neithiwyr, am roddi gwely cynhes i ni, am i ni gael cwsg i'n llygaid a hûn i'n hamrantau, am i ni gael codi y bore, a chael ein diwallu â lluniaeth ac â llawenydd Diolch i ti am i ni gael dyfod eto unwaith cyn ymadael â'r byd hwn i dy dŷ, i blith dy bobl, i blith pendefigion dy bobl, at *aristocracy* dy deyrnas. Dyma y lle goreu genym tu yma i'r barndwyn fry!"—*Cofiant y Parch. Michael Roberts.*

### BOD YN GYSURUS.

Yr oedd amaethwr parchus a goludog yn Connecticut yn adrodd ei brofiad teuluaidd wrth gyfaill fel y canlyn: "Pan y daethum yma i ymsefydlu, oddeutu deugain mlynedd yn ol, dywedwn wrth fy ngwraig fod arnaf eisieu myned yn gyfoethog. Hithau a ddywedai nad oedd arni awydd am fyned yn gyfoethog—mai y cwbl oedd arni hi eisieu oedd digon i'w gwneyd yn gysurus. Ymröais i weithio, a chliriais fy nhir yn dda; a pharhâu i weithio yn galed a wnaethum; ac yr wyf wedi myned yn gyfoethog—mor gyfoethog ag y mae arnaf eisieu. Y mae y rhan fwyaf o'n plant wedi ymsefydlu o'n hamgylch, a thir gan bob un o honynt; ond nid yw fy ngwraig wedi gallu myned yn gysurus eto."

### CYFOETH MAWR YN DDIWERTH.

Bu Iarll Dysart farw yn werth miliwn (mil o filoedd) a saith can' mil o bunnoedd; ond wedi iddo gael ei siomi mewn cariad, nid oedd ei gyfoeth ond fel llwch a lludw iddo; bu fyw yn feudwy, a marw ymron mewn unigedd. Yr oedd gan y Duc o Portland filiwn a phum' can mil o bunnoedd; ond efe yn gystuddiol gan wahanglwyf, nis gallai oddef cymdeithas ei gyd-ddynion, ac yr oedd yn defnyddio ei olud i dyrchu dan y ddaear, a cheisio ei guddio ei hun oddiwrth y goleuni oedd yn anhoff ganddo mewn selerau a wneid ganddo yn fawrwych.—*Spectator.*

### YR ANIFAIL.

Yr oedd gŵr oedd yn ei broffesu ei hun yn rhyddfeddyliwr, neu anffyddiwr, yn dadleu mewn cwmni nad oedd gan ddyn enaid neu ysbryd, gan ddwyn ymlaen lliaws o bethau a alwai efe yn rhesymau dros y syniad hwnw. Nid oedd neb yn y cwmni yn cymeryd y drafferth o'i ateb, ond yn edrych fel rhai yr oedd yn ddigon ganddynt lygadrythu ar y siaradwr. Efe a drodd at un foneddiges oedd yn bresennol, ac a ofynodd iddi mewn dull ymffrostgar beth oedd ei meddwl hi am ei athrawiaeth ef. "Mae yn ymddangos i mi, syr," atebai hi, "eich bod yn arfer llawer o ddawn i brofi eich hun yn anifail, ac nid yn ddyn."

### NID YR UN.

Mewn eglwys o bobl dduon a melynion yn America, ac un o'r enw Aaron Baxter yn weinidog iddynt, yr oedd Ewythr Moses, fel ei gelwid, o duedd i fod braidd yn ammheugar, ac yn barod i gwestiyna ynghylch y pethau a glywai. Yr oedd y pregethwr wedi sylwi yn ei bregeth ar yr undeb priodasol, y gŵr a'r wraig yn un cnawd. Ebe Ewythr Moses wrtho ar ol y bregeth, "A ydyw yn wir yr hyn a ddywedwch, fod dyn a'i wraig yn ddim ond un?" "Ydyw," atebai Aaron, "dyna wir y Bibl." "Wel, yn wir," meddai Moses, "os deuwch chwi i lawr i'r lle yr ydwyf fi yn byw, a chlywed Brydar Bones a'i wraig, yn y tŷ nesaf, wedi iddynt ddechre tafodi eu gilydd, chwi a gymerech eich llw nad ydyw y dyn a'i wraig yn ddim llai na phymtheg o bobl."

### AMMHEUS.

"Y fath un tra manylaidd ydych chwi, Brown," ebe Ffilkins, yr hwn oedd wedi troi i mewn i swyddfa Brown pan yr oedd efe ar y pryd yn absennol. "Paham? beth yr ydych yn ei feddwl?" gofynai Brown, yr hwn oedd newydd ddychwelyd. "Meddwl? wel, eich bod yn cloi eich holl *drawers* pryd nad oeddych yn myned allan ond am ryw bum' mynyd! Nid yw yn debyg y buasai neb yn ymyraeth â'ch papyrau." "Ië," atebai Brown, "ond sut yr oeddech chwi yn cael allan eu bod wedi eu cloi?"

### Y BAICH AR Y CEFN.

Yr oedd un dyn unwaith yn cerdded y brif-ffordd gyda baich trwm ar ei gefn, pryd y daeth gŵr boneddig heibio mewn cerbyd; ac efe a wahoddodd y dyn i fyned i eistedd o'r tu ol i'r cerbyd, ac felly y gwnaeth, gan ddiolch yn fawr i'r boneddwr. Ymhen amser, pan yr oedd y boneddwr yn edrych o'i ol, efe a ganfu fod y baich, fel o'r blaen, yn aros wedi ei ystrapio ar gefn y teithiwr, ac efe a ofynodd, "Paham na ddodwch chwi y pac i lawr ar y sedd yn eich ymyl?" "O," atebai y dyn, "nis gallaf feddwl cymeryd y fath hyfdra; mae yn ddigon fy mod i fy hun yn cael eistedd yma, heb i mi roddi'r baich ar y sedd gyda mi." Dyna fel y mae llawer o honom yn gwneyd gyda'r Brenin mawr: byddwn yn gweddïo arno am gymhorth a chysur, ond heb ddysgwyl yn neillduol am lwyr ymwared, ac felly yn cadw'r baich wedi ei ystrapio wrthym yn dỳn, yn lle bwrw ein holl ofal arno Ef.
—*Y Parch. P. B. Power.*

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## Llydaw.

### YMWELIAD GROIGNEC A RHANAU O MORBIHAN.

Mewn llythyr a ysgrifenwyd o Concarneau, Finistere, Mehefin 15fed, dywed y Parch. W. Jenkyn Jones, "Yr wyf yn anfon i chwi gyfieithiad o un o adroddiadau diweddaf M. Groignec, yn rhoddi hanes ei deithiau fel Biblgludydd drwy ranau o dalaeth Morbihan (b.y., môr bychan, yn cael ei henwi felly oddiwrth gulfor sydd yn rhedeg i fyny oddeutu pymtheng milldir i'r tir).

'Kerentrech, ger Lorient,
Mai 4, 1883.

'Fy anwyl Gyfaill,—Yr wyf newydd ymweled â Port Louis, Gâvre a Riantec ar derfyn y mis diweddaf. Cefais dderbyniad caredig yn yr oll o honynt. Ni chyfarfyddais âg un wyneb sur yn ystod y daith; i'r gwrthwyneb, gwnaethum heddwch âg un o'r "chwïorydd trugaredd" *(sisters of mercy)* oedd wedi fy *insultio* a'm bygwth ddwy flynedd yn ol. Pan welodd fi yn myned i mewn i'r tŷ, dywedai, "Nid oeddwn yn credu y meiddiech ddyfod i mewn yma ar ol y derbyniad a gawsoch ddwy flynedd yn ol." I'r hyn yr atebais, "Yr wyf yn dymuno ymheddychu â'm holl elynion cyn marw, ac heblaw hyny nid wyf yn un o'r rhai sydd yn hawdd eu dychrynu, ac yr wyf yn credu mai methu deall ein gilydd a wnaethom y tro o'r blaen." Daeth saith neu wyth o'r cymydogesau i mewn i'r tŷ ar fy ol, er mwyn gweled pa fath dderbyniad a gawswn y tro hwn, a chefais gyfleusdra felly i ymddyddan â hwy yn ddifrifol am hanner awr. Bydded i'r Arglwydd fendithio yr ymddyddan hwnw. Y tro hwn ymadawsom mewn heddwch.

'Cyfarfyddais âg amryw bersonau dyddorol iawn ar orynys Gâvre. (Nis gwn ai yr un ydyw a'r gair Cymraeg "gafr." Y mae llawer o enwau anifeiliaid ar leoedd yn y rhanau yma, megys "Houat"—hwyad; "Gavr-inis"—gafr-ynys, &c.) Y mae yno un dyn fu yn faer, ac sydd yn bresennol yn is-faer, yr hwn sydd yn meddu cydymdeimlad dwfn â syniadau Protestanaidd. Y mae wedi darllen y Llythyrau at Berson Ploemeur, ac y mae yn meddu copi o'r Bibl. Y flwyddyn ddiweddaf dyosgodd yr ysgolfeistr sydd yma ei wisg fel *friar*, a gwisgodd wisg gyffredin,—pa un ai oddiar argyhoeddiad, neu oddiar ysbryd Jesuitaidd er mwyn cadw ei le, nid oes neb yma yn gwybod; ond y mae y ffaith yn ddigon i ddangos fod y lle yma yn gwneyd cynnydd mewn syniadau rhyddfrydig. Cyfarfyddais yma âg un sydd yn cadw dynion i weithio blychau *sardines*, yr hwn a ddywedai wrthyf, "Yr wyf wedi alaru ar glywed son am grefydd; nid yw ond offeryn i ateb cynlluniau dynol." "Yr wyf o'r un farn â chwi," meddwn, "fod dynion i'w cael sydd yn ei defnyddio i'r amcan hwnw—sydd yn cymeryd mantais ar anwybodaeth y bobl i'w caethiwo; ond pe buasai y bobl yn deall tipyn am grefydd yr efengyl, buasai yn anhawddach iddynt wneyd hyny. Dyna paham y dylai dynion astudio Gair Duw drostynt eu hunain, er mwyn gwrthsefyll y cynlluniau hyn." Prynodd genyf gopi o'r Bibl cyflawn, a dywedai y gwnai ei astudio gyda'i deulu. Oddiar pan fum yma o'r blaen, yr wyf yn deall fod yr offeiriad wedi llwyddo i gael amryw gopïau o'r Testament Newydd i'w feddiant; a rhoddai lyfrau defosiwn, megys dychymygion am wyrthiau Lourdes, &c., yn eu lle. Dangosodd un ddynes i mi gopi o'r Testament Newydd oedd wedi ei brynu genyf; yr oedd wedi ei guddio yn ngwaelod y coffr, ac yr oedd yn ymddangos mor newydd â phan brynasai ef. Pan ofynais iddi a oedd yn ei ddarllen, dywedai ei bod wedi ei guddio rhag i'r offeiriad ei gymeryd ymaith; ac na fynai ei ddarllen oblegid fod eu crefydd hwy yn gwarafun hyny, ac nad oedd yn dyweyd dim am y Forwyn. Yna darllenais iddi ranau o hono, ac yr oedd yn synu fod yr offeiriaid yn eu camarwain trwy ddyweyd anwiredd. Yr wyf yn caru yn fawr gymeriad y bobl yn y rhanau yma; y maent yn agored ac yn hollol onest mor bell ag y maent yn deall.

'Y mae yn Port Louis lawer o rai a

alwant eu hunain yn rhyddfeddylwyr; y maent yn credu eu bod yn rhywbeth, ac y maent yn ymffrostio llawer yn eu teitl honedig. Cyfarfyddais âg un o honynt mewn ystafell fawr wedi ei rhanu—un rhan yn weithdŷ a'r rhan arall yn siop. Yr oedd yn siarad mewn ymffrost am dano ei hun fel *freemason* ac fel rhyddfeddyliwr (y mae y ddau enw mewn cysylltiad â chrefydd yn Ffrainc braidd yn gyfystyr), a dywedai ei fod yn caru ei annibyniaeth a'i ryddid yn ormod i ymddarostwng i gredu mewn unrhyw grefydd. "Eto," meddai, "pe buaswn yn dewis unrhyw grefydd, y grefydd Brotestanaidd fuasai hono." Yna dywedais wrtho y gallai wneyd gwasanaeth i grefydd drwy roddi at ein gwasanaeth am un noswaith yr ystafell hono, yr hon oedd yn ddigon mawr i gynnwys chwe' chant; ac y deuem yno i gynnal cyfarfod crefyddol, er mwyn egluro i'r bobl y grefydd wirioneddol a ddysgai Iesu Grist. Ac ar unwaith dyna y dyn annibynol yn dechreu ymholi beth ddywedai ei wraig a'i gymydogion, &c., ac yn y diwedd yn dyweyd na feiddiai roi ei ystafell at y fath wasanaeth. Dyma un engraifft o lawer i ddangos pa fath rai ydyw y rhyddfeddylwyr pan elwir arnynt i weithredu ar y rhyddid hwnw.'"

---

## Bryniau Khasia.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, EBRILL 20, 1883.

"DYDD Sadwrn, Ebrill 7, aeth Mrs. Jones a minnau i dreulio Sabboth i Mawpyddang, a chysgasom yno ddwy noswaith. Ni a gawsom gyfarfod gweddol nos Sadwrn; daeth nifer gweddol ynghyd i'r ysgoldŷ Cristionogol sydd yno, a dyma lle y buom yn siarad wrthynt nes yr oedd yn lled hwyr. Gan fod y tŷ yn rhy fychan i gynnal y gynnulleidfa ar y Sabboth, hwy a osodasant fatiau i fyny yn *front* y tŷ er bod yn gysgod rhag yr haul, a than gysgod y rhai hyn y cynnaliasom gyfarfod ar hyd y Sabboth. Dechreuasom toc ar ol naw yn y bore, a rhyw fath o un cyfarfod fu genym ar hyd y dydd hyd bump yn yr hwyr; weithiau yn canu, yna yn siarad a chanu eilwaith, yna darllen ac egluro, a chanu a gweddïo fel pe buasid yn diweddu cyfarfod; yna yn ail ddechreu eilwaith, gan fod yno gynnulleidfa o hyd, er nad yr un rhai yn hollol. Yr oedd yno tua 50 a ddarfu aros yno ar hyd y dydd; ond yr oedd eraill yn dyfod ac yn aros am awr neu ddwy, rhai yn hŵy ac eraill yn myned ymaith yn gynt; ond mor fuan ag yr elent ymaith yr oedd eraill yn dyfod yno yn eu lle, fel yr oedd genym gynnulleidfa o 80 i 150 ar hyd y dydd. Ac nid oedd genym un ffordd i wneyd ond cynnal y cyfarfod ymlaen gan fod y bobl yn aros yno, er ei fod yn un o'r cyfarfodydd hwyaf y buom ynddo erioed. Gwrandawent yn astud, ac yr oeddym yn son am Iesu Grist wrth rai am y tro cyntaf yn eu hoes; a chredwn nad aiff y cyfarfod yn ofer. Mae Ef wedi dyweyd na ddychwel ei air ato yn wag, ond y gwna yr hyn a fyno Ef, ac y llwydda yn y peth yr anfonwyd ef o'i blegid. Yr wyf yn credu fod yn y rhan hon bobl i Iesu Grist. Yr oedd yno un dyn o bentref tua deg milldir o bellder. Yr oedd y dyn hwn 20 mlynedd yn ol y dyn cyfoethocaf yn y parth hwn, a chanddo lawer iawn o berthynasau, ac yn ymroi i wasanaethu ac aberthu i'r demoniaid; ac yr oedd yn awr wedi myned yn dlawd, a'i holl berthynasau, ei wraig a'i blant, wedi marw, oddieithr un chwaer ac un nith fechan. Cawsom lawer o ymddyddan âg ef nos Sadwrn, ac yr oedd yno yn gwrando yn astud ar hyd y cyfarfod y Sabboth. Gobeithio y bydd i Ysbryd yr Arglwydd agor ei galon i ddeall a dal ar y pethau. Yn yr hwyr y Sabboth ymwelsom â rhai tai yn y pentref, a chawsom ymddyddan âg amryw—rhai o honynt yn bersonau mewn oedran mawr.

"Bore Llun aethom ymaith i ymweled â rhai pentrefi tua 15 milldir yn is i lawr, a chyrhaeddasom tua dau o'r gloch i bentref o'r enw Bhoilymbong; ac ar ol gorphwys a chael tamaid o ymborth, aethom ymlaen, ac ymhen tua 3 milldir daethom i bentref arall, a chanasom hymnau yno, a dywedasom air wrthynt am Iesu Grist. Ymhen awr daethom i bentref ar lethr bryn uchel, a gorphwysasom ychydig, a chanasom hymnau yno hefyd; a phan oedd yr haul agos a machludo, cyrhaeddasom bentref Bhoilasa, ac yno y cysgasom dros nos. Mae y pentref ar fryn uchel yn nghanol ceryg haiarn mawr, ac yn cynnwys tua 60 o dai. Odditanom, rhyngom a'r gogledd, y mae dyffryn mawr dwfn ac afon fawr—yr Umiám—yn rhedeg trwy ei ganol. Cawsom gyfarfod yno bore drannoeth; ac am 10 cychwynasom yn ol, gan gynnal cyfarfod yn yr un pentrefi a'r dydd o'r blaen, nes i ni gyrhaedd Bhoilymbong, yn y lle yr arosasom hyd drannoeth. Yr oedd y canu yn tynu y bobl at eu gilydd yn fuan, a gwrandawent yn astud ar yr "*Old, old story*" am yr Iesu a'r iachawdwriaeth. Yr oedd rhai yn dyfod gyda ni o'r naill bentref i'r llall, er na fuom y ffordd hon erioed o'r blaen, ac nad oes yma nac ysgol na Christion yn unman; ond yr oedd yma rai wedi clywed son am bentref Wmsaw a'r gwaith oedd yn cael ei gario ymlaen yno,—eu bod yn byw heb aberthu, ac yn dysgu llyfr, ac yn addoli

un Duw. Mae yn y rhan hon gryn lawer o bentrefi, er nad oes yr un o honynt yn lliosog, a thlodion ac ofergoelus a meddwon yw y nifer mwyaf; ond pe deuent yn Gristionogion, ac i fyw yn sobr, gallent fod yn gysurus a chael digon i'w cynnal, gan fod y tir yma yn llawer gwell nag oddeutu Shillong. Mae y rhan yma o'r Bryniau gryn lawer yn is na Shillong, ac felly mae y tir yn well, ond ei bod yn llawer poethach yno nag yn y rhanau ydynt ar *level* uwch. Tua 15 milldir yw y pellder o Shillong i'r rhan hon o'r Bryniau. Mae eneidiau gan y bobl hyn hefyd, a dylem wneyd rhywbeth tuag at eu dwyn i wybodaeth o efengyl y bywyd. Daethom adref nos Fercher, ac yr oedd yn rhywyr dyfod, gan ei bod wedi myned yn boeth iawn yn y pentrefi hyn."

Yna diolcha Mr. Jones yn wresog i amryw gyfeillion a roddasant gynnorthwy o bryd i bryd i ddwyn y gwaith ymlaen. Gan fod eu henwau eisoes wedi eu cyhoeddi yn y Croniol ac yn yr Adroddiad Cyffredinol, ni raid eu henwi eto o un i un.

---

## TERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr. Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain. Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddioedi ymhob eglwys i wneyd y casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad angenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Capel Huyton Quarry, Liverpool...... | 2 | 1 | 0 |
| " Netherfield Road, " ...... | 48 | 11 | 6 |
| " Fitzclarence Street, " ...... | 43 | 12 | 2 |
| " Eto, Casgliad Sabboth y Plant .. | 0 | 9 | 7 |
| Capel Victoria, Crosshall Street, Liverpool ........................ | 18 | 1 | 0 |
| Capel New Brighton, Liverpool ...... | 1 | 8 | 0 |
| " Birkenhead, " ...... | 22 | 15 | 1 |
| " Waterloo, " ...... | 4 | 12 | 0 |
| Casgliad y Plant yn Whitland, Sir Gaerfyrddin .......................... | 1 | 11 | 5 |
| Casgliad y Plant yn Sir Fôn, trwy law y Parch. W. Pritchard.............. | 0 | 15 | 0 |
| Casgliad y Plant yn Tônyrefail, Sir Forganwg.......................... | 1 | 3 | 4 |
| Casgliad y Plant yn Cendl, Sir Fynwy | 2 | 0 | 4 |
| Eto " Cwm Nantcol .... | 0 | 1 | 5 |
| Gweddill Casgliad y Plant yn Gwastad | 0 | 10 | 0 |
| Casglwyd gan Miss Edwards, Brynaethwy, a Miss Roberts, Rosemary Cottage, Pontmenai, tuag at yr Ysbytty yn Mawphlang .............. | 10 | 0 | 0 |
| Casglwyd gan blant eglwys y Methodistiaid Calfinaidd yn Columbus, Ohio, America, trwy law y Parch. Robert Vaughan Griffith ............ | 2 | 1 | 1 |
| Casgliad Sabboth Cenadol y Plant yn eglwys Racine, Wisconsin, trwy law y Parch. Joseph Roberts............ | 1 | 9 | 10 |
| Aelod yn Shirland Road, Llundain .. | 0 | 10 | 0 |
| Mr. W. Roberts, *Railway Guard*, Caergybi, tuag at gynnaliaeth U Khor, neu os na bydd hyny yn angenrheidiol, tuag at y Genadaeth yn Khasia, trwy law y Parch. W. R. Jones...... | 1 | 10 | 0 |
| Ewyllysiwr da i'r Genadaeth .......... | 0 | 10 | 0 |
| Derbynydd y Drysorfa ............... | 0 | 10 | 0 |
| "X," trwy law yr Ysgrifenydd......... | 20 | 0 | 0 |
| Dienw (llythyrnod Caerlleon) ........ | 0 | 5 | 0 |

Dymunir cydnabod derbyniad cistiad o lechi ysgrifenu at wasanaeth y Genadaeth yn Khasia oddiwrth Mr. Humphrey Roberts, Llanfair P. G., Sir Fôn. Derbyniwyd tair o gyfrolau at wasanaeth y pregethwyr brodorol oddiwrth Mr. Richard Williams, Great Homer Street, Liverpool. Dylesid hysbysu yn gynt fod sypyn o ddefnyddiau dilladau, gwlaneni, cottons, &c., rhoddion cyfeillion yn Penllwyn, wedi eu derbyn oddiwrth y Parch. D. Morgan, ac wedi eu hanfon drosodd i'r India er ys llawer o fisoedd yn ol.

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, John Griffith, Esq., *Church Street, Egremont, Birkenhead.*

D.S. Gwneler Post Office Orders yn daladwy yn LIVERPOOL ac NID yn Birkenhead.

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 68 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 634.] AWST, 1883. [LLYFR LIII.

## ATHRAWIAETH YR YMGNAWDOLIAD.

GAN Y PARCH. J. CYNDDYLAN JONES.

IOAN i. 14: "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd."

YMGYNNYG y cwestiwn i'r meddwl wrth gychwyn, O ba le y cafodd Ioan ei syniad am y Gair oedd yn y dechreuad gyda Duw? Tybia rhai iddo ei dderbyn o'r athroniaeth Alexandriaidd. Ymdrechodd Philo Judæus i uno mewn glân briodas dduwinyddiaeth yr Hebreaid ac athroniaeth y Groegiaid,—doethineb Solomon a gair Plato A phriodolir ffurf, os nid sylwedd, athrawiaeth Ioan am y Gair, gan amryw feirniaid craffus, i ddylanwad cryf ond dirgelaidd ysgrifeniadau yr Iuddew dysgedig hwn ar ei feddwl.

Ni wêl eraill yma ond dadblygiad llawn ac addfed o wirionedd sydd eisoes yn gynnwysedig yn yr Hen Destament, yr hwn a adgoffa ei ddarllenwyr yn barhâus am ryw Air cyfrin, trwy yr hwn y crëwyd y byd ar y cyntaf, a thrwy yr hwn y cynnelir y byd yn awr. Daeth "Gair yr Arglwydd" at Abraham a phatrïarchiaid eraill; ond hyd yn hyn amgylchynir ef â dirgelwch. Beth ydyw, ai rhan-ymadrodd, ai peth, ai person? Nis gallwn ddywedyd. Ond fel y darllenwn ymlaen yn ysgrifeniadau yr Hen Destament, gorfodir ni i dybied fod y Gair yn fwy na rhan-ymadrodd—ei fod yn beth; ei fod yn fwy na pheth, ei fod yn Berson. Dynesa, llefara, encilia. Y mae yn Berson. O'r safle ddyrchafedig hon y bernir i Ioan ddechre ei Efengyl. "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair."

Ni welaf reswm digonol i wadu yn hollol yr un o'r tybiau hyn. Cynnwysa pob un o honynt ryw gymaint o wirionedd; ond ni chynnwys yr un o honynt yr holl wirionedd. Ond gwrthddadleuir, os bydd i ni ganiatâu haeriadau awduron hanner anffyddol o barth i ddylanwad athroniaeth ar athrawiaeth y Gair, y bydd i ni dynu oddiwrth Efengyl Ioan. Hwyrach hyny. Ond os bydd i ni dynu oddiwrth Efengyl Ioan, ni fydd i ni dynu oddiwrth Grist Ioan, a dyna yw y prif bwnc wedi'r cwbl. Camgymeriad mawr a dinystr hollol ar athroniaeth hanesyddiaeth yw unigoli (*isolate*) gwirioneddau yr efengyl er mwyn profi eu Dwyfoldeb. Yn hytrach dylem lawenychu ymhob darganfyddiad sydd yn lleihâu eu hunigrwydd, ac yn dangos eu cysylltiad bywydol â meddwl dyn yn gyffredinol. Pe gellid dangos fod drychfeddwl Ioan am y Gair yn hollol wreiddiol, heb ddim yn y byd mawr, llydan, cynt nac wed'yn, i ba un y gellid am foment ei gyffelybu, ni fuasai hyny i mi yn un prawf o'i Ddwyfol darddiad. Yn hytrach dangoser fod dyfaliadau am dano mewn oesoedd blaenorol a gwledydd estronol, fod holl linellau meddwl dyfnaf y byd i gyd yn cyfeirio tua'r un canolbwynt, a bydd yn haws i mi gredu yn Nwyfoldeb y canolbwynt. Yn lle fod dyfaliadau athroniaeth yn esbonio i ffwrdd neu yn cymylu dim ar ddysgleirdeb y Gair y sonia y Bibl am dano, ymddangosant i mi yn ychwanegu cryn lawer ato. Os yw dysgeidiaeth Ioan yn gywir, fod y Gair o'r dechreuad yn Fywyd a Goleuni dynion, a'i fod gynt, fel y mae yn awr, "yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd," yna rhaid fod dynion yn fwy neu lai ymwybodol o hyny. Nid rhyfedd, gan hyny, eu bod yn ymresymu weithiau, yn dychymygu bryd arall, pa beth a allasai y goleuni tufewnol fod. Yr oedd y goleuni oedd ynddynt, heb fod o honynt, yn rhwym o fod yn cyfeirio tua'i ffynnonell wreiddiol. Llewyrchai y Gair o'r

dechreuad yn eneidiau dynion; ac ai syn genym ei weled yn llewyrchu hefyd yn eu hysgrifeniadau? "Y Gair oedd yn llewyrchu yn y tywyllwch," tywyllwch eu natur a'u llenyddiaeth. Gwelwn ni belydrau o hono; "ond y tywyllwch nid oedd yn ei amgyffred." Ioan oedd y cyntaf i'w amgyffred; ac yn y pedair adnod ar ddeg cyntaf o'r bennod hon cawn amgyffrediad Ioan o hono.

Wedi cymaint a hynyna o ragymadrodd, galwaf eich sylw yn awr at *Ymgnawdoliad y Gair*, yn enwedig yn y manteision dihafal a ddeilliant o ffydd ddiysgog ynddo. Edrychwn arno yn ei berthynas ddyblyg: yn gyntaf, â dyn; yn ail, â Duw.

I. YR YMGNAWDOLIAD YN EI BERTHYNAS A DYN. Desgrifir y berthynas hon yn gyffredin trwy ddyweyd ei bod yn ddyrchafiad mawr i deulu dyn.

(1.) Dengys yr Ymgnawdoliad i ddechre urddas gwreiddiol y *corff*. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Hen arfer y byd yw difrïo y corff, a chyfrif arno ef holl bechodau y ddynoliaeth, gwych a gwael. Cymerer yr athroniaeth Roegaidd fel engraifft. Yn ei hôl hi yr oedd y corff yn ddrwg hanfodol; syrthiai ysbrydoedd dynion i lygredigaeth a thrueni o herwydd eu preswyliad mewn corff. Nid oedd cwymp dyn ond canlyniad anghenrheidiol undeb yr enaid â'r corff. Mater, nid meddwl, oedd ffynnonell pob drwg, tarddle pob aflendid. Llwyddodd yr athroniaeth hon i lefeinio duwinyddiaeth foreuol yr eglwys; yma y gwelir gwir wreiddyn mynachaeth a'r cyffelyb gyfeiliornadau. Yr oedd hyn, o bosibl, yn meddwl Ioan pan yn ysgrifenu, "Y Gair a wnaethpwyd yn *gnawd*." Enwa y rhan hono o'n natur sydd bellaf oddiwrth Dduw; defnyddia y gair cryfaf, braidd na ddywedem, y gair mwyaf *vulgar*, oedd at ei wasanaeth; a thrwy hyny amddiffyna urddas wreiddiol y corff. Anhawdd gosod gormod o bwys ar y ffaith fod Duw yn trigo mewn corff, a'i fod mewn canlyniad wedi ei wared oddiwrth bob anfri. Byth er yr Ymgnawdoliad y mae parch i'r corff yn graddol gynnyddu. "Pwy bynag a rydd ei law ar gorff dynol, y mae yn cyffwrdd â'r Nef," ebe Novalis yn gyntaf, a Carlyle wedi'u—sylwad sydd yn nerthol weithio hyd yn nôd yn llenyddiaeth newyddiadurol yr oes. Dywedasai Plato, Pwy bynag a rydd ei law ar gorff dynol, y mae yn cyffwrdd â drwg hanfodol; dywed Carlyle, Pwy bynag a rydd ei law ar gorff dynol, y mae yn cyffwrdd â'r Nef. Pa fodd y daeth doethawr penaf Groeg, a doethawr penaf Prydain, i ffurfio barn mor wahanol am urddas y corff? Daeth yr Ymgnawdoliad cydrhyngddynt: dyna yr esboniad. Rhoddodd yr Ymgnawdoliad gyfeiriad gwahanol i ffrwd y meddwl ar y pwnc, trodd yr Iorddonen yn ei hol; cyrhaeddodd ei huchelfan pan y dywedodd y doethawr Prydeinig, Pwy bynag a rydd ei law ar gorff dynol, y mae yn cyffwrdd â'r Nef.

Nid oedd Iuddewiaeth chwaith yn rhoddi nemawr bwys ar ein "daearol dŷ"—digon disylw ydyw hithau o'r corff. Tröer i'r *Concordance* ar y gair "corff," a gwelir ar unwaith can lleied o le yr oedd yn gael yn yr Hen Destament. Ond mae y Testament Newydd yn heigio mewn cyfeiriadau uniongyrchol ac anuniongyrchol ato; llenwir ni â syndod gan y pwys mawr sydd yn cael ei roddi arno. Pa fodd y mae cyfrif am y cyfnewidiad? Cymerodd yr Ymgnawdoliad le rhwng y ddau Destament: dyna yr esboniad. Pa mor bell y credai eglwys yr Hen Destament yn adgyfodiad y corff sydd bwnc ammheus; amlwg yw, fodd bynag, nad oedd athrawiaeth yr adgyfodiad yn cael ond lle bychan yn ei duwinyddiaeth a'i myfyrdod. Ond yn y Testament Newydd saif yr athrawiaeth hon yn ffrynt y dadguddiad Dwyfol; oblegid y mae athrawiaeth yr adgyfodiad yn ganlyniad anghenrheidiol i athrawiaeth yr Ymgnawdoliad. Y mae y corff yn *capable* o anrhydedd mawr; y mae wedi ei gysegru â phreswyliad personol y Duwdod! Beth yn fwy rhesymol gan hyny, braidd na ddywedem, beth yn fwy naturiol, nag i greadur sydd yn gallu dal cymaint o ogoniant gael ei waredu o feddiant y bedd? Na ddyweded neb y buasai yr enaid yn well arno heb y corff nag ynddo, yn y byd hwn na'r hwn a ddaw. Mae yr Enaid Anfeidrol wedi cymeryd iddo ei hun gorff; ac ni chawn yr awgrym lleiaf fod y corff yn crebachu ei alluoedd nac yn caethiwo ei feddyliau; ac os yw yr Enaid Anfeidrol yn cael y corff yn gartref cymhwys iddo ei hun, a ga yr enaid meidrol achwyn?

Yn unol â hyn, athrawiaeth nodwedd-

iadol o'r Testament Newydd yw anfarwoldeb y corff. Y mae anfarwoldeb yr *enaid* yn wirionedd cyffredin rhwng Cristionogaeth, Iuddewiaeth, a Phaganiaeth; ond am anfarwoldeb y *corff*, gwirionedd nodweddiadol o Gristionogaeth ydyw, am y rheswm syml mai ynddi hi y dadguddir athrawiaeth yr Ymgnawdoliad. Gwrthodai Plotinus, un o ddysgyblion Plato, ganiatâd i neb dynu ei ddarlun, o herwydd na buasai hyny ond moddion i barhâu delw y corff, y corff ag yr oedd yn ei gasâu â chasineb mawr; ni fynai grybwyll amser na lle ei enedigaeth, oblegid ystyriai undeb ei enaid a'i gorff yn fwy o anffawd nag o ennill. Ond gwaeddai Paul yn llawn hoen a grymusder, "O angeu, pa le mae dy golyn? O fedd, pa le y mae dy fuddugoliaeth? I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni y fuddugoliaeth." Pa fodd y daeth dau ddyn mor athrylithgar, ag oeddynt bron yn gydoeswyr, i goledd teimladau mor wahanol at y corff? Pa fodd y daethant i wneyd cyfrif mor wahanol o'r rhan faterol o'r natur ddynol? Yr oedd un mewn dygn anwybodaeth o athrawiaeth yr Ymgnawdoliad; yr oedd y llall yn credu â'i holl galon ynddi: dyna yr eglurhâd. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd;" gan hyny y mae y cnawd yn rhywbeth parchus yn y greadigaeth, yn rhywbeth parchus yn nghyfrif y Bôd Anfeidrol ei hun.

(2.) Dengys yr Ymgnawdoliad urddas cynhenid yr *enaid* dynol yn gystal—yr enaid dynol yn y corff dynol; mewn gair, urddasolrwydd y natur ddynol yn ei holl gyfanrwydd. Dylem ofalu rhag edrych ar yr Ymgnawdoliad fel *make-shift* o du Duw i gadw y crëad rywsut wrth ei gilydd, neu yn unig i sicrhâu iachawdwriaeth dynolryw. Boed ymhell oddiwrthyf ddyweyd y buasai i'r Ymgnawdoliad gymeryd lle ar wahân i bechod a'i ganlyniadau, yn unig i berffeithio a gogoneddu y greadigaeth gyntaf, er fod lliaws o dduwinyddion uniongred yn dysgu felly; ond yr wyf yn dyweyd nad effaith *schemio* ydoedd—rhyw ymdrech dlawd i wneyd y goreu o'r gwaethaf. Na: yr oedd y natur ddynol yn meddu ar gymhwysder arbenig i fod yn gartref i'r Duwdod breswylio yn dragywyddol ynddi. Creuwyd dyn ar y cyntaf ar lun a delw Duw—gwnaethpwyd ef yn wreiddiol i fod yn gyfrwng addas y dadguddiad Dwyfol. Mae Duw a dyn yn dermau perthynasol *(correlative terms)*; mae math o gyfatebiaeth gwreiddiol a hanfodol yn bodoli rhyngddynt. Ac yn yr Ymgnawdoliad dygwyd y cyfatebiaeth hyn i'r golwg; dangoswyd cymhwysder cynhenid y ddynoliaeth i fod yn breswylfa i Dduw ac yn gyfrwng ei ddadguddiad. Yr oedd y natur ddynol yn feddiannol ar y cymhwysder gofynol—nid yw Duw yn unman yn cwyno iddi fethu ei ddadguddio, neu iddi gamliwio neu gamddarlunio yn y gradd lleiaf yr un o'i briodoliaethau.

Meddylier am foment beth y mae athrawiaeth yr Ymgnawdoliad yn gynnwys. "Ynddo Ef y mae holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol." Rhaid, gan hyny, fod yn y natur ddynol eangder digonol i gymeryd i mewn y cyflawnder; a beth ond natur o anfeidrol eangder *(capacity)* a all gymeryd i mewn iddi ei hun anfeidrol gyflawnder? Y mae y naill anfeidrol yn gofyn y llall—yr anfeidrol gyflawnder yn gofyn anfeidrol le i'w dderbyn. Llefarwn lawer am fychander dyn, ac y mae ystyr ymha un y mae yn fychan ddigon. Ond y mae ystyr arall ymha un y mae yn fawr iawn—digon mawr i gymeryd i mewn o dan ei gronglwyd ei hun holl gyflawnder y Duwdod. Yr ydym yn derfynol ddigon yn ein gallu, yn ein medr i gynnyrchu a rhoddi allan; ond yr ydym yn annherfynol yn ein heisieu, yn ein medr i dderbyn a chymeryd i mewn. O ïe, natur fawr yw ein natur ni—cymerodd Dduw i mewn yn gryno iddi ei hun yn Bethlehem! Dysg hyn ni i synied yn uwch o'n natur pa le bynag y gwelwn hi. Y mae yn fy natur i, eich natur chwi, natur y cardotyn yn yr heol, natur y troseddwr yn y carchar, bosiblrwydd o fawredd annirnadwy. Yr ydym ninnau hefyd yn abl i dderbyn a llettya Duw! Hyn a gynneuodd yn Nghrist "frwdfrydedd y ddynoliaeth," ac a barodd iddo farw er mwyn ein hiachawdwriaeth. Hwyrach y ceir allan ryw ddiwrnod fod y ddynoliaeth yn werth ei hachub, ac y derbyn Duw ryw ad-daliad am y draul fawr yr aeth iddi er ein mwyn. Teflir yn aml yn ngwyneb credinwyr yn yr Ymgnawdoliad ein bod yn paentio y natur ddynol mewn lliwiau rhy dduon, ein bod yn ei dibrisio yn ormodol, ein bod yn

ei sarhâu yn ddiaughenrhaid. Ond yn sicr ni ŵyr y bobl sydd yn edliw hyn i ni pa beth y maent yn ei ddywedyd. Gwir ein bod yn coledd syniadau gostyngedig iawn am dani; ond nid yw syniadau gostyngedig o angheurheidrwydd yn syniadau isel. Pa fodd y gallwn ni, sydd yn credu i'r Duwdod yn ei anfeidrol gyflawnder gael lle i drigo yn gorfforol ynddi, feddwl yn isel am dani? Y mae yr Ymgnawdoliad yn dangos *potentialities* erfawr ein natur, ac felly yn rhoddi milwaith mwy o anrhydedd arni nag y gall Undodiaeth yn ei ehediadau mwyaf barddonol. O herwydd paham llosga credinwyr yn yr Ymgnawdoliad gan awydd angerddol i anfon yr efengyl i hinsoddau pell. Dim ond ffydd gref yn yr Ymgnawdoliad a all gynnyrchu cenadon. Pa le y mae cenadon tramor neu gartrefol Undodiaeth? Proffesa barch mawr i'r ddynoliaeth, a dyma y swyn sydd yn ysgrifeniadau Channing; ond pa le y mae ei hymdrechion i'w dyrchafu yn nhywyll-leoedd y ddaear? Pa le y mae ei chroniclau, ei chasgliadau, a'i chyfarfodydd cenadol? "Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt"—cyfundrefnau yn gystal â dynion, credöau yn gystal â chalonau.

(3.) Dysga yr Ymgnawdoliad ymhellach fod y *cyferbyniad (antithesis)* rhwng y natur Ddwyfol a'r natur ddynol wedi ei symud. Yr oedd rhywbeth mwy yn angheurheidiol i symud y gwrthdarawiad (*antagonism*), sef yr Iawn; llefaru yr wyf yn awr am y gwrthgyferbyniad. "Y Gair a wnaethpwyd"—a ddaeth—"yn gnawd." "Yr oedd," ebe yr adnod gyntaf; "efe a ddaeth," ebe adnod y testun—fe ddaeth yn rhywbeth nad oedd o'r blaen. Fel un ag oedd o'r dechreuad, yr oedd yn Berson yn Nuw; fel un a ddaeth yn gnawd, y mae yn rhan o'r greadigaeth, ei Phen a'i choron. Cyn yr Ymgnawdoliad gorweddai gagendor mawr rhwng y Creawdwr a'r greadigaeth; ond llanwodd yr Ymgnawdoliad y gagendor i fyny, a gwnaeth y "ddau yn un." Gwnaeth i ffwrdd â'r cyferbyniad—daeth y Creawdwr i mewn i'r greadigaeth—daeth yn rhan hanfodol o honi. "Canys yr Hwn sydd yn sancteiddio a'r rhai a sancteiddir, o'r *un* y maent oll. O herwydd paham nid cywilydd ganddo eu galw hwy yn frodyr." Trwy yr Ymgnawdoliad daeth y Creawdwr a'i greaduriaid, Duw a dynion, yn frodyr—y mae y berthynas mwyach yn un o debygolrwydd, ac nid o wahaniaeth.

Cyfodai y cyferbyniad hwn, nid o gwymp dyn, ond o'r ffaith ei fod yn greadur—o berthynas angheurheidiol yr Anfeidrol a'r meidrol. Dyna paham y tybia amryw dduwinyddion o fri a gallu mawr y cymerasai yr Ymgnawdoliad le pe na buasai "Eden ardd na chodwm" yn yr hanes, er mwyn dwyn y meidrol a'r Anfeidrol yn nês at eu gilydd, ac felly berffeithio y greadigaeth. Ond boed hyna fel y bo, y mae un peth yn eglur—mae y cyferbyniad wedi ei symud. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Nid oes un gagendor yn awr rhwng y meidrol a'r Anfeidrol; nac oes, cymaint â lled troed. Yn iaith yr epistol, y maent "o'r un." Gall y meidrol edrych i fyny at yr Anfeidrol, a'r Anfeidrol edrych i lawr at y meidrol, heb deimlad gorlethol o bellder a dyeithrwch. Yn yr Ymgnawdoliad y maent wedi eu dwyn yn agos iawn at eu gilydd; y maent "o'r un." Nid oes yn awr yr un tòr yn nghadwen bodolaeth o'r ddolen isaf i'r ddolen uchaf—nid oes yr un cràc drwy holl hŷd a llêd bodolaeth. O'r gronyn lleiaf yn crynu ar fin diddymdra i fyny i uchelderau *Absolute Being* y mae un esgyniad parhaol didor—un "ffordd" heb hollt na chràc ynddi o'r dechre i'r diwedd. "Myfi yw y ffordd." Nid yn unig mae yr Anfeidrol wedi creu y meidrol, ond yn yr Ymgnawdoliad y mae wedi ymuno âg ef. Cyn yr Ymgnawdoliad yr oedd Duw a'i greadigaeth yn ddau—Duw acw, y greadigaeth yma, a gagendor mawr rhyngddynt; ond yn yr Ymgnawdoliad llithrodd Duw i mewn i'w greadigaeth, daeth yn rhan hanfodol o honi, ac felly unwyd mewn un Person ddau eithafion pellaf bodolaeth—y Creawdwr a'r creadur, yr Anfeidrol Fawr a'r anfeidrol fach. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd."

Ond nid yw yr Ymgnawdoliad yn wirionedd, ebe Undodiaeth. Ai ê? Yna y mae yn resyndod mawr; yn sicr, y mae yn haeddu bod yn wir. Gwedwch ef, ac y mae bodolaeth yn colli ei undod a'i gyfanrwydd, a thrwy hyny ei fawredd a'i farddoniaeth. Yn ol yr athrawiaeth uniongred y mae llwybr yn estyn yn ddidor, o'r gronyn lleiaf o fater yn ngwaelod isaf y gread-

igaeth, i fyny ac i fyny, i gribyn uchaf Bodolaeth Anghenrheidiol a Diammodol; mae dau derfyn eithaf bodolaeth wedi eu cysylltu yn anwahanadwy â'u gilydd yn Mherson y Duw-ddyn; mae y brycheuyn bach sydd yn dawnsio yn mhaladr yr haul wedi ei gydio yn anysgarol â Thragywyddol Fôd! "Crynhoi ynghyd (yn un) yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear, ynddo Ef!" O undod gogoneddus! yr Anfeidrol a'r meidrol wedi eu crynhoi yn un, a'r ddau ynghyd yn ffurfio "Goleuni y byd!" Yn yr undod aruchel hwn y cawn wirionedd Olldduwiaeth heb ei chyfeiliornadau. Yma ca ei hamddiffynwyr yr oll sydd arnynt ei eisieu—y Creawdwr a'r creadur, yr Anfeidrol a'r meidrol, wedi eu gwneyd yn un. Yn lle Duw yn dadblygu i'w greadigaeth, dyna Dduw yn ymblygu ynddi; yn lle athrawiaeth yr *Evolution*—yr un yn myned yn llawer, dyma athrawiaeth yr *Involution*—y llawer yn myned yn un. O'i gymharu â hyn edrych syniad Undodiaeth am y byd yn dlawd, anfarddonol, ïe, yn anwyddonol. Yn ei hôl hi, saif yr Anfeidrol a'r meidrol byth ar wahân—mae y canolbwynt byth yn eisieu. Nid oes ganddi un Mab y dyn yn ddigon tàl i gyffwrdd y wybren, i gysylltu nefoedd a daear, ar hyd yr hwn y disgyn ac yr esgyn angylion Duw. Ai nid mwy mawreddog, mwy barddonol, mwy athronyddol, gweled y gwagle wedi ei lanw gan Berson gogoneddus yr Arglwydd Iesu, ei weled ef yn "ffordd" o'r dyfnder obry i fyny fry i uchelderau mawr y Duwdod, yn "ffordd" heb hollt na rhwyg ynddi o'r naill ben i'r llall? Nid yw arucheledd athrawiaeth yn brawf diymwad o'i gwirionedd, ond yn ddiddadl sieryd yn gryf yn ei ffafr. Mor bell o wrthwynebu rheswm, y mae athrawiaeth yr Ymgnawdoliad yn ei gyflenwi, gan ei bod yn dangos iddo yr undod (*unity*) y chwilia bob amser am dano, yr undod uchaf sydd yn bosibl yn Mherson yr Emmanuel. Y mae Undodiaeth, o'r tu arall, yn cael ei gwynebu fyth gan ddeudod, sef y meidrol a'r Anfeidrol; ac y mae ei thlodi a'i hanghenoctid yn dystiolaeth yn ei herbyn. Pa ragoriaeth, gan hyny, sydd i'r ffydd uniongred? neu pa fudd sydd o'r Ymgnawdoliad? Llawer ymhob rhyw fodd: anrhydedda y corff dynol; dengys y posiblrwydd o fawredd sydd yn y natur ddynol; a dwg ddeudod bodolaeth i undod bendigedig a thragywyddol yn Mherson y Ceidwad.

II. YR YMGNAWDOLIAD YN EI BERTHYNAS A DUW. Dangosir y berthynas hon yn gyffredin trwy ddyweyd ei bod yn *ddadguddiad* o Dduw.

1. Dadguddia i ni *lluosogrwydd* Personau yn y Natur Ddwyfol. Gwirionedd nodweddiadol o'r Testament Newydd ydyw hwn, am y rheswm eglur mai y gwirionedd nodweddiadol o'r Testament Newydd yw yr Ymgnawdoliad. Yn ddiau canfyddir awgrymiadau o athrawiaeth y Drindod yn yr Hen Destament. O leiaf, gallwn *ni*, wrth ddarllen yr Hen Destament yn y goleuni cryf a adlewyrchir arno gan y Newydd, ganfod profion o honi; ond y mae yn dra ammheus a oedd yr Iuddew yn abl i'w canfod. Tybiaf fi nad oedd. Ond pan y croeswn drosodd i'r Testament Newydd, gwelwn athrawiaeth yr Ymgnawdoliad yn taflu goleuni ar natur dufewnol y Duwdod. "Yn y dechreuad yr oedd y Gair, a'r Gair oedd gyda Duw, a Duw oedd y Gair." Gwirionedd yw hwnyna a ddaeth i'r golwg drwy yr Ymgnawdoliad. Yr oedd Personau y Drindod yn bod, wrth gwrs, erioed; ond buasai athrawiaeth y Drindod yn anghredadwy ond yn ngoleuni y ffaith hanesyddol, "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd." Yn gyntaf, y ffaith; wedi hyny, yr athrawiaeth.

Yn yr Hen Destament enw Duw sydd yn yr wyneb; nid y Gair ond yr Enw. Ond yn y Testament Newydd, y Gair sydd yn cael y lle blaenaf; ac y mae athrawiaeth y Gair yn *advance* ar athrawiaeth yr Enw. Cyfeiria yr Enw ni *at* Dduw; tywys y Gair ni *i* Dduw. Mewn iaith, mewn athroniaeth, ac mewn duwinyddiaeth, canfyddir yr un ddeddf; yn gyntaf yr Enw neu y sylweddair, yna y ferf neu y parwyddair; ymlaenaf y *subject*, yna y *predicate*; yn gyntaf Enw Duw, yna Gair Duw yn dyweyd rhywbeth am yr Enw. Yr oedd dadl fawr amseroedd yr Hen Destament yn troi o amgylch yr Enw; y gofyniad mawr oedd, Pwy sydd Dduw? Llyncai y cwestiwn hwn bob cwestiwn arall iddo ei hun. Brwydr ydoedd rhwng undduwiaeth ac amldduwiaeth, rhwng y gwir Dduw a gaudduwiau. Prif waith Iuddewiaeth, gan hyny, oedd dal i fyny yr Enw, tyst-

iolaethu yn gyson a diammwys mai Jehofah yn unig oedd Dduw. Ond cwestiwn mawr amseroedd y Testament Newydd yw, nid *Pwy* sydd Dduw? ond *Beth* yw Duw? Nid yr Enw ond y Gair (*not the Nomen but the Verbum*). Felly mae rhyfel ysbrydol y dyddiau hyn yn gwahaniaethu oddiwrth ryfel ysbrydol yr hen oesau; tery, nid yn erbyn gau-addoliad ond gau-philosophi, nid yn erbyn gau-dduwiau ond yn erbyn gau-Gristiau. Pwy sydd Dduw? Etyb yr Hen Destament yn athrawiaeth yr Enw. Beth yw Duw? Etyb y Testament Newydd yn athrawiaeth y Gair—y Gair ymgnawdoledig. Y mae y drws yn gilagored ac edrychwn i mewn i'r Natur Ddwyfol, a gwelwn yno Air gyda Duw, Gair gogyfuwch â Duw.

2. Dadguddia yr Ymgnawdoliad i ni hefyd *dadolaeth* Duw. "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd, ac a drigodd yn ein plith ni (a ni a welsom ei ogoniant Ef, gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tad), yn llawn gras a gwirionedd." Yma cyflwynir i'n hystyriaeth Fabolaeth a Thadolaeth. Gwader yr Ymgnawdoliad, ac yr ydys yn gwadu tadolaeth ddyfnaf Duw yr un pryd. Y mae Duwinyddiaeth ddiweddar yn cydnabod dwy dadolaeth yn Nuw—yr allanol a'r dufewnol; y gyntaf yn tarddu o'i berthynas allanol â'r byd, yr ail yn codi o berthynasau tufewnol ei natur. I ddadguddio y gyntaf nid oedd un angenrheidrwydd am ymgnawdoliad. Dibyna yn gwbl ar athrawiaeth y greadigaeth. "Gwnawn ddyn ar ein delw ni, wrth ein llun ein hunain." O ganlyniad cyfeirir ati yn fynych yn ysgrifeniadau yr Hen Destament. Nid yw yn derbyn pwyslais neillduol iawn; canys yr oedd gwirioneddau eraill o fwy pwys ar y pryd yn hawlio sylw y genedl; ond hawdd ei chanfod serch hyny. Ac nid yn unig cawn hi yn ysgrifeniadau yr Hebrëaid, ond deuwn yn fynych ar ei thraws yn llenyddiaeth y Cenedloedd yn gystal. Gan fod y dadolaeth hon yn gynnwysedig yn nghreadigaeth dyn ar ddelw Duw, rhesymol dysgwyl y buasai i ddadansoddiad manwl o'i natur ddarganfod y tebygolrwydd, ac arwain i'r casgliad o'n mabolaeth ni a'i dadolaeth Ef. "Megys y dywedodd rhai o'n pöetau hwy eu hunain, Canys ei hiliogaeth ef ydym ni." Ni dderbyniodd y gwirionedd hwn y sylw a deilyngai, a chan hyny ni ddylanwadodd mor helaeth ac iachus ag y gallesid dysgwyl. Er hyny, dengys y dyfyniad hwn ei beirdd Paganaidd ei fod yn wirionedd natur yn hytrach nag yn wirionedd arbenig Dadguddiad, yn galw am yr Ymgnawdoliad i'w egluro. Hon yw y dadolaeth a arddangosir ar gyhoedd yn nuwinyddiaeth Undodaidd yr oes, y dadolaeth sydd yn eiddo cyffredin i Undodiaeth, Iuddewiaeth, a Phaganiaeth.

Ond pan y darllenwn du dalenau y Testament Newydd, arweinir ni at dadolaeth ddyfnach a mwy gwirioneddol—y dadolaeth dufewnol a thragywyddol. Pan welodd y byd Fab yn dyfod allan o'r Tad, yna deallodd y byd fod Mab gyda y Tad erioed. Yn y "dyfod allan" y gwelodd y byd beth oedd erioed i mewn; ac felly yn yr Ymgnawdoliad gwawriodd gwirionedd newydd ar y byd, gwirionedd ag oedd i dywyllu pob gwirionedd arall fel ddysgleirdeb; yn hytrach i gynnyddu dysgleirdeb pob gwirionedd arall trwy chwanegu ato ei ddysgleirdeb ei hun. O'r diwedd daeth Mab allan oddiwrth y Tad! Yn y fan deallodd y byd fod mabolaeth a thadolaeth yn dragywyddol yn Nuw. Yn unol â hyn y mae Duw yn Dad yn nyfnderoedd dyfnaf ei fôd. Nid oes le i'r dadolaeth hon mewn Undodiaeth, oblegid nid oes le ynddi i'r Ymgnawdoliad. Nid yw Duw Undodiaeth gan hyny yn Dad yn yr ystyr ddyfnaf—nid yw yn Dad yn nghanolbwynt ei fôd. Tad yw yn unig yn ei berthynas â'r byd—Tad trwy greadigaeth, nid Tad trwy genedliad. Eithr nid yw tad trwy greadigaeth ond tad ffugyrol; tad trwy genedliad yw yr unig dad diffuant, gwirioneddol. Yn ol Undodiaeth, cyn creadigaeth nid oedd Duw yn Dad; dinystrier y greadigaeth, a phaid a bod yn Dad eto. Nid yw ei dadolaeth felly ond priodoledd ddamweiniol, gyfnewidiol, pe priodoledd hefyd. Gall ei chymeryd i fyny a'i dodi i lawr pryd y myno; gyda hi y mae yn Dduw, hebddi buasai yn Dduw yr un fath. Ond credwch yn yr Ymgnawdoliad, ac yr ydych ar unwaith yn cael gafael yn nhadolaeth ddyfnaf a hanfodol Duw. Os y wedd mwyaf teilwng ymha un i edrych ar Dduw yw fel Tad, tad gwirioneddol, hanfodol, yna y mae Duw Trindodiaeth yn annhraethol uwch a gwell na Duw

Undodiaeth. Y mae y naill yn Dad gwirioneddol, hanfodol, tragywyddol—nis gall lai na bod yn Dad; nid yw y llall ond Tad yn ei berthynas â'i greaduriaid—darfydded y creaduriaid, a phaid yntau a bod yn Dad yr un eiliad.

Gwelwn gan hyny fod yr Ymgnawdoliad yn dadguddio i ni dadolaeth anghenrheidiol, dragywyddol Duw. Dengys i ni Fab, nid yn unig trwy greadigaeth mewn amser, ond trwy genedliad yn nhragywyddoldeb. "Yr Unigan-edig Fab oddiwrth y Tad." Y mae Duw yn Dad yn nyfnderoedd ei fôd. Yr oedd yn Dad cyn creadigaeth; syrthied y greadigaeth i'w diddymdra cyntefig, a bydd yn Dad wedi'n. Yn lle tadolaeth y gellir ei gwisgo a'i dadwisgo, wele yma dadolaeth anghenrheidiol, yn annibynol ar bob amgylchiadau, yn tarddu o ganol ei fôd, yn llywio ei holl feddyliau, yn penderfynu ei holl symudiadau, a hyny o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb. Yn ymyl hwn nid yw pob tadolaeth arall ond cysgod a ffugyr. "Tad ein Harglwydd Iesu Grist:" dyna enw y Testament Newydd ar Dduw, oblegid gesyd allan yr unig dadolaeth sydd yn haeddu pwys mawr, y dadolaeth dufewnol a hanfodol a ddaeth i'r golwg yn yr Ymgnawdoliad ac a wnaeth ein hiachawdwriaeth ni yn bosibl.

Hyd yma cyferbynu y ddwy dadolaeth a wnaethom, tra y dylem mewn ffyddlondeb i'r Ysgrythyrau chwanegu y naill at y llall. Mae yr Undodwr dan yr anghenrheidrwydd anhapus o ddewis rhwng y ddwy, a dewisa y dadolaeth fwyaf bâs. Ond y mae y Trindodwr yn gallu dyweyd, a'r Bibl yn ei law, "Credaf yn y ddwy." Credwn mor ddiysgog yn y dadolaeth allanol â'r Undodwyr; ond credwn hefyd yn y dadolaeth dufewnol, hanfodol. Gwelwn gan hyny fod y credo efengylaidd yn fwy cynnwysfawr na'r credo Undodaidd; ac y mae yr eglwysi uniongred yn lletach na'r eglwysi sydd yn cyfenwi eu hunain yn eglwysi llydain *(broad churches)*. "Dy orchymyn di sydd dra ëang," a'th efengyl hefyd, ëangach na dim duwinyddiaeth nac athroniaeth o ddyfais dyn. Nid ydym yn credu llai, ond yn credu mwy na'r awduron hyny sydd yn cyfenwi eu hunain yn rhyddfrydwyr mewn duwinyddiaeth; am yr un gwirionedd ganddynt hwy, yr ydym ni yn ddïeithriad yn dal dau. Pa fudd gan hyny sydd o'r Ymgnawdoliad? Un budd mawr yw mai ynddo ef y dadguddir tadolaeth hanfodol Duw—gwirionedd ag sydd wedi cyfoethogi yn ddifesur feddyliau a theimladau y ddynoliaeth. Y mae yn "gysur cryf" i ni i ddeall fod Duw uwchlaw ac o flaen pobpeth yn Dad. Ni chawn ddyoddef caledi mawr oddiar ddwylaw un sydd o dragywyddoldeb i dragywyddoldeb yn ngwraidd ei hanfod yn Dad.

3. Dadguddia i ni hefyd gymeriad *achubol* Duw. "Yn hyn yr eglurwyd cariad Duw tuag atom ni, oblegid danfon o Dduw ei uniganedig Fab i'r byd, fel y byddem byw trwyddo Ef." Gwader yr Ymgnawdoliad, ac nid oes genym un prawf diammheuol o gariad Duw; creder ef, ac nis gellir cael prawf cadarnach. Y mae yr Ymgnawdoliad yn brawf, am ei fod yn ddadguddiad, o gariad. Dadguddia yr un weithred hon holl dragywyddoldeb, gorphenol a dyfodol, y Duw mawr. Y mae dyn yn greadur cynhyrfiadau, ac nid yw un weithred o'i eiddo ef yn ddangoseg teg o'i orphenol a'i ddyfodol. Mewn moment o frwdfrydedd neu wendid eithriadol, cyflawna weithred a rêd yn ngwddf holl gwrs ei fywyd. Mae dyn yn greadur cyfnewidiol; ond gyda Duw "nid oes gyfnewidiad na chysgod tröedigaeth"—y mae yr un weithred hon yn ddadguddiad o'i holl dragywyddoldeb.

Os gwir fod y cariad hwn yn Nuw erioed, yn llosgi mor boeth yn nyddiau Abraham â'r bore yr anfonodd Duw ei Fab i'r byd, paham yr oedwyd yr Ymgnawdoliad mor hir? Rhaid cyfaddef ein bod ni yn aml yn siarad fel pe byddai Duw wedi oedi yn ddiachos, fel pe na buasai mewn un brys i anfon ei Fab i'r byd fel yr achubid y byd trwyddo ef. Ond nid yw y Bibl yn unman yn dysgu hynyna. O'r tu arall, dysga "nad yw Duw yn oedi, fel y mae rhai yn cyfrif oed; ond hir-ymarhöus yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch." Nid yw Efe byth yn gohirio yn ddianghenrhaid. Yn gymaint a bod Duw yn anghyfnewidiol, a bod y cariad a ddangosodd yn Bethlehem yn berwi yn ei fynwes erioed, anturiaf ddyweyd iddo gymeryd gafael yn y cyfleusdra cyntaf i weithio allan iachawdwriaeth y byd. Do! anfonodd ei

Fab mor gynnar ag y gallai, y cyfleusdra cyntaf a gafodd. Ond paham nad anfonodd Ef yn foreuach? Yn ateb gofynaf, Pa ddyben ei anfon yn foreuach pan nad oedd y byd yn barod i'w dderbyn na'i wrthod? Mae Iesu Grist yn gynnyrch cyfansawdd y ddau fyd; anghenrhaid gan hyny i'r ddau fod yn barod. Rhaid oedd iddo aros nes i'r ddynoliaeth fod yn barod. Pe pwnc noeth o gariad neu allu ydoedd, gallesid ei anfon yn gynt; ond yn gymaint a'i fod hefyd yn bwnc o gynllun, hyny yw, o ddoethineb, nis gallesid ei anfon ar adeg pryd y byddai iddo ddyrysu ei amcanion ei hun. Nis gallai Duw deithio yn gyflymach nag a wnai cynneddfau y ddynoliaeth ganiatâu. Anghenrhaid a osodwyd arno i gyfaddasu ei gamrau ei hun i gerddediad dyn. Cymerodd fwy o amser, fe allai fwy o drafferth, i Dduw genedlu ei Fab yn y meddwl dynol nag i'w genedlu yn y natur ddynol. Treuliwyd pedair mil o flynyddoedd, a mwy, i wneyd y cyntaf; ond y fynyd y cymerodd le, "anfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf."

Yn Methlehem a Chalfaria y mae Duw yn gwneyd ei oreu i achub y byd; ond os oedd yn gwneyd ei oreu y pryd hwnw, yr oedd yn gwneyd ei oreu bob pryd. Nid oes gyfnewidiad ynddo Ef; yr hyn ydyw un amser, dyna ydyw bob amser. Cyfnewidia ei oruchwyliaethau yn ol yr amgylchiadau, ond nid ei deimladau. Dadguddia yr Ymgnawdoliad Ef ôl a blaen. Nid effaith disymwth teimlad cynhyrfus oedd ymgnawdoli a marw—maent yn amlygiad o'i natur dragywyddol. Yr oedd Duw yn gwneyd ei oreu ymhob oes i achub y byd; nid yw yn fwy aiddgar un flwyddyn a llai aiddgar flwyddyn arall. Ei apêl at Ephraim yw ei apêl at bob canrif: "Beth yn fwy a allwn ei wneuthur nag a wnaethum?" O Adda hyd Moses, ac o Moses hyd Grist, yr oedd Duw ar ei oreu yn achub y byd. Paham y dywedaf hyn? Am ei fod ar ei oreu yn Methlehem a Chalfaria. Yn yr Ymgnawdoliad a'r Iawn, gwelwn gariad Dwyfol yn ei fan gwresocaf. A oedd yn wresocach nag arferol? Nac oedd; yr oedd yn gyfartal wresog ymhob oes. Gwelwn yma fawredd ein hiachawdwriaeth! Cymerodd i Dduw, nid tair ar ddeg ar hugain, ond miloedd o flynyddoedd i'w gweithio allan. Hyn a allodd Hwn, efe a'i gwnaeth!

Ac nid yn unig gwnai ei oreu yn Mhalestina, a than yr Hen Destament, ond gwna ei oreu yn awr. Paham ynte na achubir y byd? Gan nad yw le y gorwedd y rheswm, gallwn anturio dyweyd nad mewn difrawder na difaterwch yn yr Hollalluog; nid mewn diffyg cariad na diffyg awydd ynddo Ef. Cyfaddefwn yn rhwydd ein bod yma uwch ben dibyn mawr; nis gallwn weled ond ychydig i'r dirgelwch. Sonia y Bibl am "yr Hwn sydd yn gweithio pob peth yn ol cynghor ei ewyllys." Nis gallwn ni ddadrys y cynghor yn awr; ond gorphwyswn mewn llawn ymddiried y gwna Efe ryw ddydd gyfiawnhâu ei holl ffyrdd—fod ganddo reswm digonol dros y gohiriad yn y gwaith o efengyleiddio y byd. Nis gallwn ammheu ei gariad yn wyneb yr Ymgnawdoliad a'r Iawn; ac ni fynwn ammheu ei ddoethineb. Y mae Duw yn gweithio yn wrol ynmhlaid iachawdwriaeth y byd; ond y mae yn gweithio, cofier, yn ol ei ddoethineb, sef "cynghor ei ewyllys ei hun;" a rhyw ddiwrnod cawn allan mai ffordd Duw yw y ffordd oreu—goreu ar les y greadigaeth a goreu i'w ogoniant ei hun.

---

## CYNGHOR I FLAENORIAID IEUAINC.

*Gan* MR. RICHARD MILLS, *Llanidloes.*

[Traddodwyd y Cynghor canlynol, ar gais Cyfarfod Misol Pen Uchaf Sir Drefaldwyn, i nifer o Flaenoriaid a dderbyniwyd yn Nghyfarfod Misol Dinas Mawddwy yn mis Mai diweddaf.]

FY MRODYR ANWYL,—Gyda gwylder a phryder mawr yr wyf yn anturio dyweyd ychydig mewn ffordd o anerchiad i'r blaenoriaid ieuainc yma heddyw.

Yr hanes cyntaf a gawn am y swydd sydd yn y chweched bennod o'r Actau, lle y dywed yr apostolion, "Am hyny, *frodyr*, edrychwch yn eich plith eich hunain am saith o wŷr da eu gair, yn llawn o'r Ysbryd Glân a doethineb, y rhai a *osodom ar* hyn o orchwyl." Y gorchwyl yr oedd eisieu gosod y gwŷr hyn i'w gyflawni, oedd rhanu yn gyfiawn a diduedd y drysorfa yr oedd pawb o'r eglwys yn y dyddiau hyny yn cyfrannu tuag ati, ac yn derbyn o honi eu bara beunyddiol. Paham yr oedd pawb yn derbyn o'r un drysorfa gyffredinol, nid awn i ymofyn am hyny heddyw; ond dar-

llenwch lyfr yr Actau, a chwi a gewch esboniad ar hyn. Yr oedd y Groegiaid yn grwgnach o herwydd nad oedd eu gwragedd gweddwon hwy yn cael tegwch, hyd yn nôd gan yr apostolion eu hunain, yn y weinidogaeth feunyddiol; ac o herwydd hyny fe ddewiswyd y saith sydd yn cael eu henwi yn y chweched o'r Actau i wasanaethu byrddau; hyny yw, i ranu y drysorfa, er mwyn rhyddhâu yr apostolion oddiwrth y gorchwyl bydol hwn, fel y gallent ymroddi i weddi a gweinidogaeth y gair.

Wel, yn ol tystiolaeth yr apostolion, yr oedd yn angenrheidiol i'r rhai a ddewisid fod yn "llawn o'r Ysbryd Glân a doethineb." Nid oedd yn ddigon iddynt fod yn ddynion duwiol, a duwiol iawn, ond yr oedd yn rhaid iddynt fod yn ddynion *doeth* iawn, er mwyn gwneyd eu gwaith heb ddangos dim pleidgarwch na ffafriaeth. Y mae llawer o ddynion duwiol diammheuol eto yn ein heglwysi heb feddu callineb y sarph; ac y mae yn ddiammheu mai nid rhai felly yw y rhai cymhwysaf i fod yn ddiaconiaid neu flaenoriaid eglwysig. Dylent fod yn ddynion yn meddu synwyr cyffredin cryf, ac yn berchen doethineb i arfer y synwyr hwnw, yn gystal a gras i lywodraethu ac i dymheru pob peth a wneler er lles yr eglwys a gogoniant Duw.

Trwy fod y drysorfa yn un gyffredinol, yr oedd gwir anghen am lawer o ddoethineb i ranu i bawb fel yr oedd yr eisieu. A thrwy mai Groegiaid oedd yn grwgnach, dewiswyd y rhan fwyaf, os nad yr oll, o'r saith hyn o blith y Groegiaid, er dangos nad oedd dim pleidgarwch yn bod, nac i fod, yn eglwys Dduw. Fel hyn fe gychwynwyd yr eglwys gyda llawer o symlrwydd, doethineb, a gras; ac ni a gawn fod rhai o'r saith gwŷr hyn, nid yn unig yn cyflawni eu swydd fel gwasanaethwyr byrddau i foddlonrwydd, ond hefyd fel pregethwyr cynnorthwyol, yn cymeryd rhan yn mhrif waith yr apostolion, sef pregethu a gweinyddu yr ordinhadau, yn enwedig Stephan a Phylip, a hyny gyda'r fath nerth Dwyfol fel "na allai yr Iuddewon wrthwynebu yr hyn a leferid gan Stephan."

Ni a edrychwn yn awr am fynyd beth a ddywed Paul wrth Timotheus am y cymhwysderau angenrheidiol i wasanaethu y swydd hon. Yn y drydedd bennod o'r epistol cyntaf at Timotheus, o'r wythfed hyd y drydedd ar ddeg o'r adnodau, y mae yr apostol yn dyweyd pa fath ddynion a ddylai diaconiaid fod. "Rhaid i'r diaconiaid yr un ffunud fod yn onest; nid yn ddau-eiriog, nid yn ymroi i win lawer, nid yn budrelwa."

"*Bod yn onest:*" nid yw yr apostol yn cyfeirio yma at y pechod o ladrata; na, y mae efe yn cymeryd yn ganiatäol ein bod oll sydd yn enwi enw Crist yn ymwadu â'r annuwioldeb dybryd hwn, sef lladrata eiddo ein cymydogion. Ond y mae ar yr un pryd yn awgrymu fod yn bosibl i ddynion crefyddol, ie, blaenoriaid, fod yn euog o bechod sydd yn llawn mor beryglus i gymdeithas grefyddol, sef bod yn *ddaueiriog*—cario dau wyneb—dyweyd un peth wrth hwn, a dyweyd peth arall wrth y nesaf, am yr un peth,—bod â thafod deublyg, medd yr iaith Saesoneg. Wel, y mae eisieu i ni, fy mrodyr anwyl, fod yn ddynion cywir, unplyg, y byddo pawb sydd yn ein hadnabod yn deall ac yn cydnabod ein bod yn ddynion, ac nid yn rhyw wrageddos, yn barod i droi gyda phob gwynt a chwŷth arnom.

Byddwch hefyd yn ofalus i gadw eich cymeriad yn ddilychwin. Peidiwch ag ymgymysgu yn ddianghenrhaid gyda dynion annuwiol a llygredig. Y mae yn wir fod Rhagluniaeth yn ein galw ambell waith i gwmnïau nad allwn ddysgwyl ond llygredigaeth yn eu plith; ond gallwn ddysgwyl amddiffyn Dwyfol drosom os byddwn ar lwybr ein dyledswydd; eithr os byddwn o ddewisiad, ac yn ymblesera mewn cyfeillach felly, nis gallwn ddysgwyl cael ein hamddiffyn; ac nid anfynych y mae dynion mewn amgylchiadau felly yn llithro ac yn cael eu clwyfo, a chrefydd, mewn canlyniad, yn cael ei gwaradwyddo o'u hachos.

Byddwch hefyd yn ofalus am gymeriadau eich brodyr crefyddol. Peidiwch a bod yn awyddus i dderbyn chwedlau gan bedleriaid cymeriadau. Y mae llawer o'r rhai hyn ar hyd y wlad, y rhai sydd o dŷ i dŷ yn llanw eu sachau â phob peth gwaethna'i gilydd am eu cymydogion ac eraill, ac wedi hyny yn brysio i arllwys y cyfan wrth y neb sydd yn barod i dderbyn chwedlau o'r fath, a phob amser yn ychwanegu rhyw gymaint o'u gwaith eu hunain at yr hyn a glywant. Fy mrodyr ieuainc, a hen hefyd o ran hyny, peidiwch derbyn y cyfryw i'ch tai, a pheidiwch rhoi clust o wrandawiad iddynt. Y mae lliaws o'r tylwyth yma i'w cael ar hyd y wlad y dyddiau hyn; ac os oes rhyw bechod ar gynnydd yn fwy nag arall yn ein heglwysi y dyddiau hyn, y mae hwn yn un. Fel y dywed ein Harglwydd, pan y mae anwiredd yn amlhâu y mae cariad llawer yn ceri. Y mae yr apostol Ioan yn ein cymhell i gariad at ein gilydd, ac yn dangos fod yr Arglwydd Iesu wedi ein caru ni yn y fath fodd nes rhoddi ei fywyd i lawr drosom, ac yn defnyddio hyny fel rheswm y dylem ninnau, nid yn unig garu pharchu ein gilydd, ond marw dros ein gilydd os bydd achos am hyny. Gadewch i ni gan hyny fel swyddogion eglwys Crist

fod yn esiampl mewn cariad, ac addfwynder, a chymwynasgarwch at ein gilydd, ac at yr holl braidd, fel y byddo yn hawdd i rai gweiniaid nesâu atom a dyweyd eu cwyn wrthym.

Y mae eisieu i ni hefyd, fy mrodyr, fod yn ddynion hunanymwadol a gostyngedig. Nid pob un yn edrych ar ei farn ei hun yn nesaf i anffaeledigrwydd, ac yn sefyll dros hyny bron at waed; nid rhai tebyg i Iesu Grist yw rhai felly. Trowch i'r ail bennod o'r Philippiaid, o'r 3edd adn. hyd ddiwedd yr 8fed. Dyna'r cynllun mawr: "Na wneler dim trwy gynhen neu wag ogoniant, eithr mewn gostyngeiddrwydd, gan dybied eich gilydd yn well na chwi eich hunain." Eto: "Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion; a'i gael mewn dull fel dyn, efe a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd angeu, ïe, angeu y groes." Os teimlwch hunan yn ymwthio i mewn ar ambell dro, fel y mae yn ddiau y gwnewch, trowch eich meddwl yn union at y feddyginiaeth fawr hon. Aeth Pedr unwaith i geryddu yr Iesu am iddo ddyweyd y byddai iddo ddyoddef a marw; ac yr ydych yn cofio ei ateb i Pedr. Ac yn y fan ar ol hyny, dyma efe yn dyweyd wrth y dysgyblion, "Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes, a dilyned fi." Fel pe dywedasai, Bywyd o hunanymwadiad yw fy mywyd i ar ei hyd, ac os bydd rhai o honoch chwithau yn penderfynu fy nilyn i, ymwaded âg ef ei hun. Y cam cyntaf a'r olaf yw hunanymwadiad. Felly chwithau, fy mrodyr, nid cael eich codi i fod yn arglwyddi ar eglwys Crist yr ydych, ond cael eich dyrchafu i fod yn weision i Grist ac i'w eglwys; a mawrhewch eich braint o gael gwneyd y gwasanaeth lleiaf i helpu teyrnas y Gwaredwr mawr ymlaen.

Y mae eisieu hefyd fod y blaenoriaid yn gofalu am dlodion yr eglwysi. Mae yn wir fod y tlodion yn yr eglwysi cyntefig yn dibynu yn gwbl ar roddion ewyllysgar eu brodyr, ond nid felly yn awr. Yr ydym yn awr fel rheol gyffredin yn cael ein gorfodi trwy gyfraith i gynnal y tlodion; ond y mae lle i ofni fod hyny wedi ein gwneyd yn rhy ddifater am dlodion ein heglwysi, a'n bod ninnau trwy hyny wedi colli braint, yn gystal a'r fendith sydd yn dilyn y fraint. Y mae yr apostolion yn rhoi pwys mawr ar fod y tlodion, yr amddifaid, a'r gweddwon, yn cael sylw mawr gan yr eglwysi; ac yn debyg mai er mwyn hyn y daeth ein swydd ni i fôd ar y cyntaf.

Yn nesaf y mae eisieu i ni fel swyddogion fod ar y blaen fel dynion darllengar. Yr wyf yn hyderu nad oes eisieu i mi ddyweyd y dylem ddarllen cyfran o'r Bibl bob dydd gyda'n teulnoedd, a gweddïo, a chanu, os bydd hyny yn bosibl; oblegid os bydd plant yn y teulu, y mae'r canu yn sicr o ddylanwadu mwy ar y plant nag un rhan o'r gwasanaeth; ac yn wir y mae canu yn effeithio yn ddaionus ar rai mewn oed yn gystal ag ar blant. Heblaw hyny, fy mrodyr ieuainc, yr oeddwn yn amcanu eich annog i ddarllen llyfrau eraill, er mai y Bibl yn benaf. Dechreuwch yn gynnar ar eich hoes i ddarllen llyfrau buddiol, fel y byddo pobl ieuainc yr eglwysi a'r gymydogaeth yn gallu edrych i fyny atoch am gael eu porthi â gwybodaeth ac â deall. Peidiwch a threulio un hanner awr mewn segurdod a diofalwch; ond byddwch â rhyw lyfr buddiol i'w ddarllen ar bob adeg y bydd genych hamdden i hyny. Yr wyf yn credu fod cannoedd o oriau yn cael eu treulio yn hollol ofer gan lawer o ddiffyg meddwl am eu defnyddio i ddarllen, a thrwy hyny ychwanegu rhyw wybodaeth fuddiol. Wel, dechreuwch yn fore y rhai sydd yn ieuainc; ac wrth ddechreu yn fore a dilyn ati yn ddiwyd, chwi a gesglwch gyfoeth o wybodaeth a nerth a fydd yn help i chwi nid yn unig gyda chrefydd, ond i gario allan holl amcanion bywyd yn llawer mwy effeithiol na phe baech yn ddynion anwybodus a musgrell. Edrychwch ar y wenynen: y mae hi yn dechreu yn gynnar ar y flwyddyn; cân gynted y gwel hi y blodau y mae yn dechreu casglu ei baich bychan, ac yn aml o bell ffordd, ac ar ol rhoi hwnw i lawr yn ei le priodol, ymaith â hi drachefn a thrachefn, a felly trwy yr haf gyda diwydrwydd mawr, fel erbyn y gauaf fod ei thŷ bychan yn llawn ac yn daclus i wynebu ystormydd y gauaf. Felly chwithau, fy mrodyr ieuainc; ond i chwi fod fel y wenynen bydd eich ystordŷ chwithau yn llawn erbyn gauaf henaint, amser lled anfanteisiol i lafurio llawer. Da iawn a fydd os byddwch byw i fyned yn hen, fod y *stock* wedi ei gymeryd i mewn cyn hyny. Yn wir, y mae arnoch eisieu cyn henaint y mae anghen i ni fod ar y blaen ar ein heglwysi a'n cynnulleidfaoedd, nid yn unig mewn duwioldeb, ond hefyd mewn gwybodaeth ysgrythyrol a chyffredinol; os amgen, pa fodd y gallwn ni gymhell ein pobl ieuainc ac eraill i lafur a diwydrwydd?

Fe allai y goddefwch i mi yma nodi rhai llyfrau y byddai yn dda i chwi fod yn gydnabyddus â'u cynnwysiad. Yr wyf yn cydnabod fy mod wrth wneyd hyn yn sathru ar dir lled gysegredig, wrth ystyried ymha le ac yn nghlywedigaeth pwy yr wyf yn siarad; ond gan eich bod wedi fy ngosod yma, ac mai ychydig yr wyf wedi ei glywed yn y cyfeiriad hwn,

wyf yn hyderu y maddeuwch i mi am annog y blaenoriaid, yn enwedig y rhai ieuainc, i ddarllen rhai llyfrau y gallant gael lles trwyddynt, ond eu darllen yn fanwl ac yn feddylgar. Yr wyf yn cymeryd yn ganiataol fod y BIBL fel bara beunyddiol ar y bwrdd bob dydd; ac os nad ydych wedi darllen *Hyfforddwr yr Efrydydd*, cynghorwn chwi i'w ddarllen yn fanwl, a dal ar ei hyfforddiadau. Nid wyf yn gwybod am un llyfr sydd yn debycach o greu awydd am wybodaeth yn y neb a'i darlleno, a hono yn wybodaeth fuddiol. Yr wyf yn cymeryd yn ganiataol fod llyfrau y Cyfundeb yn cael eu darllen gan ein holl swyddogion, a bod *Geiriadur Charles* a *Gwaith Gurnal* yn meddiant ac yn cael eu darllen gan ein blaenoriaid. Y rhai hyn oedd holl *stock* y rhan fwyaf o'r hen bobl; ac yr oedd llawer o honynt yn ddynion mawr a galluog. Wrth ddarllen a myfyrio yr ychydig lyfrau hyn yn drwyadl, yr oeddynt wedi cynnyddu yn wŷr cryfion, ac yn deilwng o'r swydd bwysig eu galwyd iddi. Darllenwch chwithau, y mrodyr ieuainc, y llyfrau uchod; a chwanegwch atynt *Cofiant y diweddar Barch. John Jones, Talsarn*, gan Dr. Thomas, llyfr y meiddiaf ddyweyd, nid yn unig a dŷn ddagrau o'ch llygaid, ond a wna les i'ch calon, ac a rydd lawer o wybodaeth fuddiol i chwi, na chewch mewn un llyfr arall, Cymraeg na Saesoneg. Ceisiwch ei bregethau hefyd, a *Phregethau y diweddar Barch. Henry Rees;* cyfrolau nas gallant lai na helaethu gwybodaeth a sancteiddio calonau y rhai a'u darllenant yn ystyriol. Cynghorwn chwi hefyd i fod yn hyddysg yn ngwaith *Hodge* o America. Y mae wedi ei gyfieithu i'r Gymraeg gan y diweddar Mr. Morris Davies, Bangor. A pheidiwch mewn un modd ag esgeuluso darllen *Methodistiaeth Cymru*, llyfr y dylai pawb sydd yn teimlo dyddordeb yn yr enwad y perthynwn iddo ei ddarllen yn fanwl. Cynghorwn hefyd bawb o honoch sydd yn arfer darllen Saesoneg, i fynu gafael ar hanes bywyd *Miss Frances Havergal*, un o'r merched mwyaf duwiol, diwyd, a thalentog a welodd ein gwlad yn y ganrif hon. Y mae yn sicr o adael argraff grefyddol ar feddwl pwy bynag a'i darlleno. Y mae ei bywyd ar ei hyd wedi bod yn doreithiog o'r ffrwythau mwyaf addfed; ac y mae yn anhawdd meddwl na bydd ysbryd y neb a ddarlleno ei bywyd yn llawer gwell ar ol hyny. Y mae argraffiad rhad iawn o hono i'w gael, ac mewn llythyren eglur a da. Buasai yn hawdd i mi enwi amryw eraill, yn Gymraeg a Saesoneg, y byddai yn dda i ni fel blaenoriaid fod yn hyddysg yn eu cynnwysiad; ond gadawaf ar hyn yn awr, gan hyderu y bydd awgrym fel hyn yn ddigon.

Yn nesaf, fy mrodyr, byddwch yn ddirwestwyr. Y mae eisieu i ni fod ar y blaen yn hyn hefyd; nid fel yr hen bregethwr Isaac James, pan ofynodd rhyw rhyw frawd iddo a oedd yn ddirwestwr: "Ydwyf," oedd yr ateb. "Ië, a ydych chwi felly o egwyddor, Isaac James?" meddai y brawd drachefn. "Beth yw hyny i chwi?" oedd ei ateb; "yr wyf yn ddirwestwr o fola; a beth sydd a fynoch chwi â'm hegwyddorion i?" Y mae bod fel Isaac James yn well na bod yn yfwyr; ond fy mrodyr ieuainc anwyl, y mae eisieu i ni fod yn egwyddorol, yn gryfion, ac yn drwyadl yn y mater yma. Rhaid i ni gofio fod ein hamser yn fyr, a'n gallu i wneyd daioni yn fychan iawn, ac y gallwn trwy ein hesiampl wneyd llawer o ddrwg, os yn arfer yfed y diodydd meddwol. A gellwch fod yn sicr fod yr ychydig swyddogion eglwysig sydd yn yfed ac yn myned i dafarndai i eistedd ac yfed, yn drygu eu cymeriad, ac yn lleihâu eu dylanwad gyda chrefydd, ac, yn wir, yn ngolwg pob cymdeithas, hyd yn nôd y meddwon eu hunain. Wrth edrych ar ein teyrnas y dyddiau hyn—yr ymosod sydd ar yfed, y diodydd meddwol o wahanol gyfeiriadau, ac ymhlith pob dosbarth, o'n Seneddwyr hyd at y *Salvation Army*, y mae fel pe byddai gwyneb y deyrnas wedi ei droi at y cwestiwn, i weled beth a ellir wneyd i leihâu yr yfed, a'r dinystr dychrynllyd sydd ar y wlad o herwydd hyny. Yn wir, y mae yn destun llawenydd wrth weled fod rhyw arwyddion bychain o wellhâd yn hyn. Yr oedd araeth Canghellydd y Trysorlys ychydig yn ol yn hysbysu fod lleihâd o bum' miliwn o bunnau wedi cymeryd lle mewn tair blynedd yn yr hyn a dderbynid gan y Llywodraeth oddiwrth drethi ar y diodydd meddwol, yn ddefnydd peth cysur yn y cyfeiriad yma. Wele, fe fyddai yn druenus i ni sydd yn proffesu ceisio glanhâu y byd oddiwrth bechod, fod yn help i ddal i fyny fasnach sydd yn felldith i'r wlad ymhob cyfeiriad. Yr ydym yn gweled gwawr gobaith yn y diwygiadau sydd eisoes wedi cychwyn yn y wlad, y bydd iddi barhâu yn ei mawredd a'i dylanwad ymysg gwledydd y byd, yn lle syrthio i ddinystr fel yr oedd yn cyflym redeg ato yn y deng mlynedd ar hugain diweddaf. Gallwn ninnau ddysgwyl, os byddwn yn ffyddlawn dros Dduw i ddiwygio ein gwlad oddiwrth ei phechodau, y daw yr Arglwydd allan i'n gwobrwyo â diwygiad crefyddol eto cyn hir. Yn wir y mae wedi dechre mewn rhai rhanau o'n gwlad. Ein gweddi fyddo am iddo ein cofio ninnau hefyd.

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD VIII.

*Dychweledigion.*

AETH amser heibio, fel y mae yn feunyddiol yn myned heibio, a dygodd gydag ef, fel o drugaredd y mae yn arferol, nid yn unig ei helbulon ond ei gysuron hefyd. Trwy garedigrwydd Abraham, stiward y Caeau Cochion, nid oedd ein cwpbwrdd bellach yn wâg, ac erbyn hyn nid oedd y llewod yn rhuo yn fy ystymog. Fel yr oedd yr adeg yn agosâu i Bob gael ei ryddhâu, ymloewai wyneb fy mam; ac eto gwyddwn oddiwrth ei hymddyddan a'i hymddygiad nad oedd hi heb feddwl a phryderu llawer pa olwg a fyddai arno, a pha effaith a fyddai ei garchariad anghyfiawn wedi ei gael ar ei ysbryd, a mil a mwy o ofynion ag y mae mam ofalus yn barod i'w gofyn mewn amgylchiadau cyffelyb. Yr oedd John Powell eisoes wedi dychwelyd; ac er nad allai efe adrodd ond ychydig am Bob, gan eu bod eu dau yn cael eu cadw ar wahân, yr oedd fy mam wrth ei "holi a'i stilio" wedi gallu tynu digon o hono i edrych gyda phryder ac ofn ar y diwrnod y byddai fy mrawd yn dyfod yn ol. Cyn i'r diwrnod hwnw ein cyrhaeddyd, dygwyddodd dau beth a roddodd foddhâd mawr i fy mam. Rhag i mi fod yn faith (fel y byddaf yn dywedyd weithiau wrth bregethu, er y byddaf yn adrodd pob gair a fwriadwn), ni wnaf ond prin gyffwrdd â'r ddau beth hyny.

Yr oedd ymweliadau Abel Hughes, yr hen flaenor hybarch, a'n tŷ ni yn ddygwyddiadau mor gyffredin fel mai ychydig o sylw a gymerwn o honynt oddieithr ar adegau neillduol, megys yr un yr wyf eisoes wedi ei groniclo. Ond y mae genyf reswm da dros gofio un ymweliad o'i eiddo rhyw bythefnos cyn i Bob ddyfod o'r carchar. Yr oedd fy mam ac yntau wedi bod yn ymddyddan am yspaid, a minnau yn hollol ddisylw o honynt, yn ysgrifenu rhywbeth wrth y bwrdd yn ymyl y ffenestr, oblegid nid oeddwn wedi anghofio cyngor Bob i ymroi ati i wella fy hun rhag i mi orfod bod yn golier; ond tynwyd fy sylw gan waith Abel yn dyweyd wrth fy mam,—

"Mary, mae'n hen bryd i'r bachgen yma feddwl am wneyd rhywbeth, yn enwedig fel y mae pethau arnoch chwi yrwan."

"Yr ydw i'n meddwl yr un fath â chi yn union, Abel," ebe fy mam. "Ond be feder o neyd, nid wn i ddim, achos dydi o ddim yn gry, a dydi o fawr o slaig."

"Ond y mae o yn glamp o fachgen i fod heb wneyd dim," ebe Abel.

"Siampal," ebe fy mam.

"Mi fedrwn wneyd hefo hogyn yn y siop acw yrwan, bydawn i yn siwr y gwnai Rhys ateb y dyben," ebe Abel.

"*Just* y peth yr ydw i wedi bod yn meddwl am dano ddwsiniau o weithiau, Abel," ebe fy mam, "ond y mod i yn ofni nad oedd Rhys yn ddigon o slaig. Mi wn y cae o chware teg i'w eued hefo chi, Abel, ac yr ydw i'n meddwl na chae chithe ddim profedigaeth hefo fo. Mae o yn fachgen go lew a chonsidro. Ac y mae o'n beth od, Abel, hyna' yr ydw i yn mynd mwya yn y byd yr ydw i yn dwad i weled yr un fath â Bob druan, fod tipyn o ddysg yn beth handi dros ben, ond peidio cael gormod o hono fo, mi ddaliaf at hyny."

"Bewt ti yn wneyd yn y fan yna, Rhys?" gofynai Abel, gan gerdded tuag ataf, ac ychwanegai,—"Wyddost ti beth, rwyt ti yn ysgrifenu yn deidi anwêdd; pwy dy ddysgodd di, dywed?"

"Bob," ebe finnau yn wylaidd.

"Fedri di gowntio? fedri di wneyd *simple addition?*"

Yr wyf yn ofni i mi wenu braidd yn wawdlyd wrth ei ateb. "Medraf *addition, subtraction, multiplication,* a *division of money.*'

"Be mae o'n ddeyd, Abel?" gofynai fy mam.

"O, dim ond dyweyd fod o'n gwybod sut i gyfrif arian," ebe Abel.

"Rhys," ebe fy mam, gan edrych yn geryddgar arnaf, "ddaru i mi rioed o'r blaen dy ddal di yn deyd anwiredd! Ai isio tori calon dy fam yr wyt ti? ydw i ddim wedi cael digon o brofedigaethe, tybed, heb i ti fynd i ddeyd anwiredd o flaen fy llygaid i? Mae'r hen air yn ddigon gwir, Abel, na ŵyr neb beth ydi magu plant. Mi ddeyda yn onest wrthoch chi, does gen i ddim isio'ch twyllo chi; fu rioed arian yn 'i ddwylo fo; ac yr ydw i yn synu atat ti, Rhys, yn deyd ffasiwn beth wrth Abel Hughes."

Yr oedd llawer o'r hen Fethodistiaid yn credu, yr wyf yn meddwl, nad oedd chwerthin "yn gweddu i'r efengyl," ac nid wyf yn cofio i mi erioed cyn y tro hwn glywed Abel Hughes yn dadgan ei deimladau yn y ffordd hono; ac mor anghynnefin oedd efe â'r gwaith fel yr oedd ei chwerthiniad yn debycach i rywbeth rhwng ysgrêch ac ochenaid nag i ddim arall. Ond chwerthin a wnaeth, ac ebe fe,—

"Peidiwch a chynhyrfu, Mari bach; sôn y mae Rhys a minnau am reolau'r *tutor* i gyfrif arian."

"Ho, deydwch chi hyny; wyddwn ni rioed fod gan Mr. Tudor reolau i gyfri arian, ond mi glywes fod gyno fo lawer o arian, ai fod o yn cymryd digon o ofal o honyn' nhw. Bydae o yn dwad yma i gyfri fy arian i, mi alle adel ei 'reolau' gartre, ŵyr dyn. Ond y mae plant y dyddiau hyn yn gwybod mwy na'u rhieni, ne mae nhw yn meddwl hyny beth bynag. Ond gan eich bod chi'n dallt eich gilydd, ewch ymlaen."

Ac ymlaen yr aethom—Abel yn holi, a minnau yn ateb. Heb wenieithio i mi fy hun, yr wyf yn sicr fod Abel yn synu fy mod yn gwybod cymaint ag a wyddwn, a minnau heb gael nemawr ddim ysgol, a'i fod yn edmygu Bob am y drafferth a gymerasai gyda mi.

"Yr ydw' i yn gobeithio, Abel," ebe fy mam, "nad ydi Bob wedi dysgu dim drwg iddo. Mae nhw hefo'u hen Sasneg y dyddiau hyn; fel na wyddoch chi ddim be sydd yn mynd ymlaen yn eich tŷ eich hun."

Sicrhäodd Abel fy mam mai da y gwnaethai Bob yn fy nysgu yn y pethau hyn, ac yr oedd hyny oddiwrtho ef yn damaid blasus ganddi, ac ebe hi,—

"Mi ffraues lawer hefo Bob am fod yma ormod o'r llyfr a'r slaten ac o esgeuluso'r Bibl; ond y mae dda gen i'ch clywed chi yn deyd na ddysgodd o ddim drwg iddo fo. Ac eto mi ddaliaf at hyny fod gormod o duedd mewn ieuenctyd y dyddiau hyn i esgeuluso'r Bibl."

Rhag i mi fod yn faith, fel y dywedais, canlyniad ymweliad Abel y noswaith hono oedd cyttundeb rhwng fy mam ac yntau fod i mi gael myned ar fis o dreial ato i'r siop—fod i mi fwyta ar ei fwrdd, a chael dyfod adref i gysgu. Dyna un o'r ddau beth y cyfeiriais atynt a roddodd gysur i fy mam, cymaint cysur yr wyf yn sicr ag a gafodd llawer mam gan benodiad ei mab i swydd o dan y llywodraeth; a mi wn mai elfen fawr yn ei chysur oedd y caffai fy "ened chware teg," fel y dywedai.

Y peth arall a'i llonodd yn fawr ydoedd fod Thomas a Barbara Bartley yn parhâu i ddyfod i foddion gras, ac fod pob lle i gredu fod y gwirionedd yn ymwneyd rhywbeth â'u meddyliau. Yr wyf wedi dyweyd y byddai fy mam a minnau yn ymweled yn fynych â Thomas a Barbara, ac wedi awgrymu fod rhyw ddealltwriaeth rhyngom pan oeddym yn dyoddef anghen, na chaffem ddyfod e dŷ ein cymydogion ar ein cythlwng. Ond gwnawn gam dirfawr â fy mam pe rhoddwn ar ddeall mai hyn oedd ei hunig neu ei phrif amcan: na, yr wyf yn meddwl ei bod yn teimlo cymaint o ddyddordeb yn eu cadwedigaeth ag a deimlai Paul yn iachawdwriaeth ei genedl yn ol y cnawd. Gwyliai yn ddyfal ar y modd y byddai y ddau yn gwrandaw ar bregethau y Sabboth; a bore Llun elai atynt i chwilio pa faint oeddynt wedi ei amgyffred o'r gwirionedd a pha effaith a adawsid ar eu meddyliau. Yr wyf dan demtasiwn gref i adrodd rhai o'r ymddyddanion gymerodd le ar yr ymweliadau hyn; ond rhag i rywrai dybio fy mod yn gorliwio zel a thanbeidrwydd fy mam ymattaliaf. Pan fyddai hi yn eu holi, ac yn egluro iddynt mewn iaith syml y gwirionedd, clywais Thomas Bartley yn dyweyd amryw weithiau,—

"Piti garw, Mari, na fasech chi yn hapno bod yn perthyn i'r *Ranters;* mi fasech yn gneyd pregethwr ods o dda."

Yr oedd y cyfeillion yn y capel yn deall yn burion mai fy mam fuasai yr offeryn i ddwyn Thomas a Barbara i'r moddion; ac nid ychydig oedd eu syndod a'u llawenydd wrth weled dau hen ben—y rhai, er byw yn ymyl y capel, oeddynt wedi treulio eu hoes yn hollol ddifater am grefydd—o'r diwedd yn rhoddi eu presenoldeb ymhob cyfarfod cyhoeddus. Dywedai fy mam, "Os ydi carchariad dy frawd wedi bod yn achlysur i ddwyn Thomas a Barbara i sŵn yr efengyl, ac yn enwedig os bydd o yn achlysur i'w dwyn nhw at Grist, wna i byth gwyno at y fargen; ac yr ydw i yn mawr gredu, wel di, fod a wnelo y gwirionedd rwbeth â meddyliau fy hen gymydogion, a synwn i ddim bydae Thomas a Barbara wedi dwad i'r seiat cyn i Bob ddwad gartre. Yr ydw i yn meddwl y mod i yn gystal Calfin a neb a dwaenes i, ond ffarmio yn go sâl ddaru'r diafol hefo Thomas a Barbara; mae yn y ddau dir da i'r efengyl, heb ddrain a mieri cenfigen a thwyll, na chorsydd na siglenydd pechadurusrwydd cnawdol. Mewn ffordd o siarad, mae yna lai o waith i'r Ysbryd neyd calon newydd. Mi fydde Bob yn sôn llawer, fel y gwyddost di, am anwybodaeth a diniweidrwydd Thomas a Barbara, ac yn cael llawer o *sport* am eu pene nhw; a fydde dim yn well gen i ddeyd wrtho pan ddaw o gartre na bod y ddau wedi'u hachub. Hwyrach dy fod di yn 'y nghlywed i yn siarad yn smala, a Bob ei hun heb fod yn seiat; ond fedra i yn y myw feddwl—yn y myw las, nad ydi Bob yn un o honon ni. A mae rhywbeth yn deyd wrtho i y daw o i'r seiat rwan; bewt ti'n feddwl?"

Cefais wers na ddarfu i mi byth ei hanghofio ynglŷn â hanes Thomas a Barbara, sef fod pregethwyr a elwir gan rai yn bregethwyr bychain yn llawer mwy bendithiol i ddosbarth neillduol o'n gwrandäwyr na y rhai a ystyrir yn bregethwyr mawr. Yr wyf yn cofio na byddai Thomas a Barbara yn cael nemawr les dan weinid-

ogaeth y rhai a ystyrid gan fy mrawd Bob yn *favourites*, ac fod y ddau yn canmawl llawer ar y llefarwyr hyny a ddiystyrid braidd ganddo ef. Rhoddai hyn lawenydd mawr i fy mam, am y credai hi fod hyny yn gwirio yr hyn a ddywedasai hi laweroedd o weithiau wrth fy mrawd, sef nad allai pawb fod yn Paul neu yn Pedr, ac fod llawer wedi eu hachub, er nad oedd sôn am hyny, dan weinidogaeth Thadeus, onidê ni fuasai y Meistr yn ei alw at y gwaith.

Ymhen ychydig ddyddiau, pan oeddym ar frecwast, ebe fy mam, "Dyma y Sabboth ola i Bob druan fod yn nhŷ y caethiwed, a diolch am hyny. Ac eto yr ydw i bron ag ofni ei wel'd o yn dwad adre, rhag ofn fod 'i ysbryd o wedi cledu dan yr oruchwylieth. Ys gwn i pwy sydd i bregethu yma y Sabboth nesa? Bydase Bob adre heddyw, mi wn na fase fo yn hidio fawr am ein pregethwr ni. Rhyw duedd diystyru William Hughes, Abercwmnant, oedd yn Bob bob amser. Ond mi fydda i yn meddwl fod William wedi 'i anfon, a mi fydda yn cael bendith wrth 'i wrando. Ac er y cawn ni heddyw yn ddiamme, fel arfer, fel yr oedd Bob yn deyd, 'y gwrthddrych a nodir,' 'y weithred a briodolir,' 'a'r ddyledswydd a gymhellir,' waeth i ni prun, mi ddeidiff William Hughes rywbeth gwerth ei wrando a'i neyd. Gobeithio y bydd 'i Feistar o gyda fo, ac y caiff o arddeliad, ddeuda i."

Daeth William Hughes i'w gyhoeddiad. Anaml y bydd pregethwr bychan yn tori ei gyhoeddiad, oddieithr pan fydd yn ddigon bychan i ddynwared ffaeleddau pregethwr mawr. Yr wyf yn cofio yn dda ei destun y bore hwnw—"Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol." Tybiwn fod pawb yn meddwl am Bob fy mrawd pan oedd William Hughes yn sôn am y carcharorien. Ymddangosai yr hen bregethwr yn fywiog anarferol, a chofus genyf fod gwrandawiad neillduol o astud arno. Mae genyf gofnodion o'r bregeth hono o fy mlaen yn awr, ac wrth edrych drostynt yr wyf yn cael eu bod yn cynnwys efengyl bur. Ond rhyfedd! yn ol y cofnodion nid ydyw rhaniadau y bregeth yn ol y dull arferol. Dichon i mi fod yn esgeulus wrth ysgrifenu. Y maent fel hyn —I. *Y gwrthddrychau a nodir—carcharorion.* II. *Y ddarpariaeth rasol ar eu cyfer—amddiffynfa.* III. *Y ddyledswydd a gymhellir—troi i'r amddiffynfa.* Yr wyf yn cofio fod fy mam yn porthi y gwasanaeth mor uchel, fel yr oeddwn dan ofnau parhâus ei chlywed yn tori allan i orfoleddu, fel y clywswn hi unwaith yn gwneyd dan weinidogaeth Cadwaladr Owen, a phan y digiodd Bob fy mrawd wrthi mor dost fel na siaradodd â hi am ddeuddydd. Yr wyf yn cofio hefyd fod Abel Hughes, ar ganol y bregeth, wedi codi oddiar ei eisteddle arferol o dan y pulpud, a gosod ei hunan yn ffrynt y sêt fawr—yr hyn oedd arwydd bob amser i mi fod y pregethwr yn dyweyd rhywbeth neillduol. Hwyrach mai y rheswm i mi gymeryd sylw mor fanwl o ymddygiad Abel oedd i mi glywed fy mam yn dywedyd wrtho fwy nag unwaith pan fyddai wedi cael oedfa rymus, "Wel, Abel, mi fu raid i chithe godi allan o'ch cenel heddyw." Digon o brawf i mi fod W. Hughes yn pregethu yn neillduol o dda y bore hwnw ydyw fod fy nghofnodion mor anmherffaith; oblegid fy mhrofiad i ydyw, pan y bydd pregethwr yn llefaru yn hwyrdrwm y gallaf ysgrifenu ymron yr oll o'r bregeth; ond pan fydd yn pregethu yn dda a hwyliog, byddaf yn anghofio y llyfr â'r pensil, ac yn ymgolli yn yr hyn a ddywed.

Can gynted ag yr aethum allan o'r capel, sylwais fod Thomas a Barbara Bartley yn aros am fy mam; ac aeth y tri tua chartref gan ymgomio yn ddifrifol, a cherddai Wil Bryan a minnau o'u lledol. Er mai y Sabboth ydoedd, nid allwn beidio dyweyd wrth Wil fy mod yn myned yn brentis at yr hen Abel. Tarawyd Wil â syndod, ac edrychodd arnaf gyda thosturi, ac ebe efe,

"*Good-bye*, blewyn! Mi fase yn well gan y bachgen yma (a tharawodd Wil ei frest) fyn'd yn brentis o *roll-up* neu farbwr. Flasi di byth eto chware na chwerthin. Chei di byth ddim byd eto ond seiat ac adnod; a chyn mis i heddyw, mi gymra fy llw, mi fyddi wedi gorfod dysgu ocheneidio fel Gwyddel â'r ddannodd arno, a thynu gwyneb cyd â bass fiol. Mi fyddi yn ffit i fyn'd i'r nefoedd *any day*. Ond cyn y base y bachgen yma (a tharawodd Wil ei frest drachefn) yn myn'd yn brentis at yr hen wnionyn, mi fase yn myn'd yn *footman* i'r King of the Cannibal Islands. Mae'n ddrwg gen i drostot ti, Rhys; ond gan fod pethe wedi 'u settlo—*fire away*. Ond mi fase yn well gan y *chap* yma (tarawodd ei frest wed'yn) fyn'd i hel *oysters* ar ben y Foel Famau na myn'd yn brentis at yr hen Ab."

Gwyddwn fod Wil yn mynegu ei feddwl yn onest; a phan ddywedais wrtho nad oeddwn yn cymeryd golwg mor brudd ar fy nyfodol ag a gymerai efe, mi synais at ei atebiad.

"Hwde di, yr hen ganfed! yr ydw i'n meddwl fod yn amser i ni dy neyd di yn bregethwr ne yn flaenor, mi gymra fy llw."

Ychydig a wyddai Wil na fuasai dim yn fwy dymunol genyf nag iddo fy ngwneyd y person cyntaf y soniai am dano, pe buasai hyny yn ei allu. I arbed ei watwareg cedwais hyny i mi fy hun.

Pan gyrhaeddais adref, cefais fy mam yn hwmian canu; ac er ei bod braidd yn ddisiarad, ni welais mo honi erioed yn arddangos y fath hapusrwydd mewnol. Tybiwn mai yr "amddiffynfa" y soniasai y pregethwr am dani a lonai ei chalon; ond nid wyf yn cofio iddi hi sôn dim am y bregeth, ond yn unig fod William Hughes "wedi teimlo ei draed dano," yr hyn oedd yn ddywediad o'i heiddo pan fyddai pregethwr wedi cael hwyl. Am chwech o'r gloch yr hwyr hwnw cafodd W. Hughes odfa lewyrchus drachefn; ac y mae fy nghofnodion yn dangos fel y canlyn:—Testun—"Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch, &c." Penau: I. *Y gwrthddrychau a nodir—rhai blinderog a llwythog.* II. *Y ddyledswydd a gymhellir—"Deuwch ataf fi."* III. *Yr addewid werthfawr i'r rhai sydd yn ufuddhâu—"Mi a esmwythâf arnoch."* Nid wyf yn cofio dim yn neillduol am y bregeth. Yn y seiat ar ol yr odfa, gofynodd Abel Hughes fel yr arferai, "Oes yma rywun wedi aros o'r newydd?" a synwn sut yr oedd efe yn gofyn y fath gwestiwn, ac yntau ar yr un pryd yn edrych ar ddau oedd *wedi aros o'r newydd.* John Llwyd (yr hwn a elwid gan Wil Bryan "yr hen grafwr") a ddywedodd yr hyn yr oedd pawb yn ei wybod, sef fod Thomas a Barbara Bartley wedi aros.

"Ho! ewch i siarad gair â nhw, William Hughes," ebe Abel wrth y pregethwr; ac ychwanegodd, "Rhaid i chwi beidio dysgwyl llawer oddiwrthynt; dydy nhw ddim wedi gwrando rhyw lawer;" ac eisteddodd i lawr wrth ochr y pregethwr gan sibrwd yn ei glust, fel y tybiwn i, hyny o wybodaeth a allai mewn hanner mynyd am y dychweledigion. Ar ol ychydig o gyndynrwydd, cododd y pregethwr ar ei draed, rhoddodd ei ddwylaw ar ei gefn o dan labedi ei gob, a cherddodd megys yn anewyllysgar tuag at Thomas a Barbara; ac hyd y gallaf gofio, rhywbeth yn debyg i hyn oedd yr ymddyddan:—

Ebe'r pregethwr, "Wel, Thomas Bartley, dydw i yn gwybod dim am danoch chi, ac hwyrach y deudwch chi yn rhydd dipyn o'ch hanes."

"Gwna', yn eno dyn," ebe Thomas. "Pobol dlodion oedd y nhad a mam, a fi oedd yr ienga o dri o blant. Yr ydan ni gyd wedi marw erbyn hyn heblaw fi; a dydw i ddim yn gwybod fod gen i neb yn perthyn i mi ond un cefnder sydd i lawr yn Lloeger, os ydi o'n fyw. Rhyw deulu darfod—"

"'Doeddwn i ddim yn meddwl i chi ddeyd hanes eich teulu," ebe'r pregethwr, "eisieu gwybod yr oeddwn i dipyn o'ch profiad. Beth wnaeth i chi a'ch gwraig aros yma heno?"

"O! begio'ch pardwn," ebe Thomas. "Wel, mi ddeyda i chi. Mae Barbara a mine, y snose diwaetha ma, wedi bod yn meddwl gryn blwc am ddwad atoch chi i'r seiat; a mi roedd Mary Lewis yn deyd fod yn hen bryd i ni, ac na wnaen ni byth ddim byd gwell; ac wrth ych clywed chi yn crefu mor daer arnon ni heddyw bore i droi i'r amddiffynfa, mi ddaru ni 'n dau benderfynu aros heno, achos mi wydden o'r gore mai aton ni 'roeddach chi yn cyfeirio." Rhoddodd Barbara nog o gydsyniad.

"Chwi wnaethoch yn dda," ebe'r pregethwr, "ac nid ydwyf yn ammheu nad ydyw y cyfeillion yma oll yn llawen iawn eich gweled. Mae'n debyg eich bod yn gweled eich hun yn bechadur mawr, Thomas Bartley?"

"Wel, mi ddeyda hyn, ddaru i mi rioed ddal dig at neb, mae Barbara yn gwbod, ac yr ydw i bob amser wedi trio byw yn onest," ebe Thomas.

"Mae yn dda genyf glywed hyny, nid pawb all ddyweyd felly," ebe Mr. Hughes; ac ychwanegodd, "Ond y mae pawb o honom yn bechaduriaid, mi wyddoch, Thomas Bartley."

"Ydan, ydan," ebe Thomas, "does dim llawer o gamp ar neb o honom ni; ond mi fydda i'n meddwl fod rhai gwaeth na'u gilydd."

"A fedrwch chwi ddarllen, Thomas Bartley?" gofynai y pregethwr.

"Mae gen i grap ar y llythrene a dim chwaneg; ond mi fydda yn ffond anwêdd o glywed rhai yn darllen," ebe Thomas.

"Colled fawr ydyw bod heb fedru darllen, ac y mae hi wedi mynd yn lled hwyr ar y dydd arnoch i chwi feddwl dysgu," ebe Mr. Hughes.

"Mi wn na ddysga i byth, achos does dim byd yn gwic yna i, most y piti," ebe Thomas.

"Trwy nad ydach chi wedi gwrando llawer, a'ch bod heb fedru darllen, fe ddylech, Thomas Bartley, roddi dwbl ddiwydrwydd i ddyfod i'r moddion o hyn allan," ebe Mr. Hughes.

"Os byddwn ni byw," ebe Thomas, "mae Barbara a minne wedi penderfynu dilyn y moddion yn solet, achos mae'r amser yn pasio yn ffeindiach o lawer na bod yn pendwmpian gartre. A deyd y gwir i chi, Mr. Hughes, yr ydan ni yn cael pleser mawr yn y capel; a bydasem ni yn gwybod hyny yn gynt, mi fasen wedi dwad yma er's blynyddoedd; ond ofynodd neb erioed i ni nes i Mary Lewis *just* y'n fforsio ni i ddwad."

"Beth sydd yn ffordd io i chwi y fath bleser yn y capel, Thomas Bartley?" gofynodd y pregethwr.

"Wel, yn wir fedra i ddim deyd wrth-

och chwi; onid y mae Barbara a minnau yn teimlo yn llawer iawn mwy bethma er's pan ydan ni yn dwad i'r capel."

"Da iawn," ebe'r pregethwr; "ond beth ydach yn feddwl o'r amddiffynfa yr oeddwn yn ceisio deyd tipyn arni bore heddyw?"

"Wel," ebe Thomas, "roeddwn i yn meddwl bod chi yn deyd yn glêu iawn am dani, ond ddaru mi ddim *catchio*'n gyssot sut yr oeddach yn deyd; ond yr oedd Mary Lewis yn sponio i ni wrth fynd adre mai Iesu Grist yn marw droston ni yd'r amddiffynfa, a mai myddiried yno fo am ein bywyd ydi troi i'r amddiffynfa, ac felly roeddwn inne'n meddwl bydaswn yn gallu deyd y meddwl."

"Pwy bynag ydyw y Mary Lewis yma, mae hi yn lled agos i'w lle ar y pen yna," ebe'r pregethwr.

"Ydi, mi gwranta hi, un arw iawn ydi Mary, yn siwr i chi, Mr. Hughes," ebe Thomas.

Yr oedd yn amlwg er ys meityn, fel y clywais fy mam yn dyweyd, nad oedd Mr. William Hughes yn deall ei gwsmer; ac wedi aros eiliad neu ddau gwnaeth un cais arall i gael Thomas i ryw bwynt, ac ebe fe,—

"Thomas Bartley, wnewch chwi ddyweyd wrtha i, Beth oedd yn galw am i Iesu Grist farw trosom?"

"Wel, can belled ag yr ydw i yn dâllt," ebe Thomas, "doedd dim ar affeth hon y ddaear yn galw am iddo farw droston ni ond fod o 'i hun yn leicio gwneyd hyny."

"Wel, onid oedd rhywbeth ynom ni yn galw am iddo farw, Thomas Bartley?" ebe Mr. Hughes.

"Dim *at all*, yn ol y meddwl i," ebe Thomas. "Hwyrach y mod i'n misio; ond mi fydda i yn meddwl na ddaru neb ddychmygu iddo fo farw droston ni, a bod o wedi cymyd pawb bei sypreis, fel y byddan nhw yn deyd."

Ymddangosai Mr. W. Hughes drachefn fel pe buasai wedi ei daflu oddiar ei *saddle*, a thrôdd at Barbara, ac ebe fe,—

"Wel, Barbara Bartley, fedrwch *chwi* ddarllen?"

"Crap ar y llythrene, run fath a Thomas," ebe Barbara.

"Wel, dywedwch air o'ch teimlad," ebe Mr. Hughes.

"Run fath â Thomas yn union," ebe Barbara.

Cerddodd William Hughes yn ol i'r sêt fawr; ac ebe fe, "Abel Hughes, rydach chwi yn adnabod y cyfeillion yma yn well na mi."

Cododd Abel ar ei draed; ac er nad oeddwn ond hogyn gwyddwn os gallai rhywun gael allan a oedd marworyn o'r tân Dwyfol wedi disgyn i enaid Thomas a Barbara mai Abel oedd yr un hwnw; oblegid ni welais ei gyffelyb, yr wyf yn meddwl, am adnabod calon dyn, gan nad pa gymeriad oedd yn ei chario. Ebe fe, â'i lais yn crynu gan deimlad,

"Fy hen gym'dogion, does dim eisieu i mi ddyweyd wrthoch chi fod fy nghalon yn llawenhâu wrth eich gweled yn gwneyd osgo i droi i'r amddiffynfa y clywsom ni am dani mor felus bore heddyw. Yr ydw i yn gobeithio, ac yn credu o ran hyny, fod eich amcan yn eithaf cywir wrth aros yma heno. Yr wyf fi, fy hen gyfeillion," ebe fe gan droi at yr eglwys, "yn teimlo fy mod wedi cael cerydd trwm yma heno; a hyderaf ein bod oll yn teimlo felly, pan ddywedodd Thomas Bartley na ofynodd neb erioed ond Mary Lewis iddo ef a'i wraig ddyfod i foddion gras. Gadewch i ni gywilyddio ac edifarhâu. Wel, Thomas Bartley, mi geisiaf siarad â chwi fel y deallwch chwi fi. Ydach chi yn ffeindio rhyw altreth yn eich teimlad a'ch meddwl y dyddiau hyn, rhagor oeddech chi, dywedwn, dri mis yn ol?"

"Altreth mawr yn siwr i chi, Abel Hughes," ebe Thomas.

"Wel, deydwch yn eich ffordd eich hun beth ydyw," ebe Abel.

"Welsoch erioed fy salach i am ddeyd rhywbeth, Abel Hughes; ond cyn i mi ddechre dwad i'r capel, fydde Barbara na mine byth yn meddwl dim ar affeth hon y ddaear am y'n diwedd; ond yrwan 'does yr un diwrnod yn mynd dros y'n pene ni nad ydan ni yn sôn am hyny. Mi fydda yn meddwl llawer sut y bydd hi arnon ni ar ol myn'd oddiyma—a gaiff Barbara a fine fod hefo'n gilydd, ac a fyddwn ni yn gyfforddus."

"Purion, Thomas," ebe Abel. "Beth ydach chi yn ei feddwl fydd raid i chi ei gael i'ch gneyd yn gyfforddus yma ac ar ol myn'd oddiyma?"

"Wel," ebe Thomas, "fedra i ddim deyd wrthoch chi yn gysact; ond mi fydda yn meddwl mai myddiried yn Nghrist, fel 'roedd Mary Lewis yn deyd."

"Peidiwch a newid eich meddwl ar hyny, Thomas bach," ebe Abel; "mi fyddwch chi a minnau a phawb o honom ni yn ddigon diogel ond ymddiried ynddo Ef. Mae genych fachgen, Thomas, wedi myn'd ato, 'does dim ammheuaeth. Yr oedd Seth, er diniweitied oedd, wedi adnabod y Gwr; ac nis gallaf ddymuno dim gwell i chi'ch dau, ac i mi fy hun, na'n bod ni yn gallu deyd mor groew ag y dywedai Seth i ba le yr oedd yn myned."

Nid cynt y soniodd Abel am Seth nag y dechreuodd dagrau mawrion syrthio i lawr gruddiau Thomas, ac attaliwyd ei barabl yn hollol—nid oedd yn bosibl cael gair

arall allan o'i enau. Barbara hithau a wlychai ei ffedog *check* gyda'r un gwlybwr. Yr oedd Abel Hughes yn ddyn *stern*, ond meddai galon fawr; a phan wylai ef, yr oedd ei ddagrau, fel y diweddar-wlaw, yn effeithio ar bobpeth o'i gwmpas oddieithr y creigiau fel y gwnaethant y tro hwn, oblegid gorchfygwyd ef yn lân. Yn y man adfeddiannodd ei hun; a gofynodd arwydd derbyniad i Thomas a Barbara Bartley; ond cyn i neb gael amser i godi eu dwylaw, gofynodd John Llwyd, "A oedd Thomas Bartley yn ddirwestwr?" ("Gwrando di ar yr hen grafwr," ebe Wil Bryan yn ddystaw yn fy nghlust.) Pa fodd bynag, ni chymerodd Abel arno glywed gofyniad John Llwyd, a rhoddwyd yr arwydd.

Eisteddwn yn ymyl y sêt fawr. Ar ol i'r pregethwr ddiweddu y seiat, gwelwn Thomas Bartley yn dyfod at Abel; a chan ddodi ei law yn ei boced ebe fe,

"Abel Hughes, a oes ene riw *entrance* i'w dalu heno?"

Gwenodd Abel, a dywedodd,

"Nac oes, Thomas; cewch gyfleusdra eto i roi rhywbeth ar lyfr yr eglwys."

"Twbi shiwar," ebe Thomas, ac ymaith âg ef.

Philosophyddion! rhyw ddiwrnod gwelaf y drws yn cael ei gau yn erbyn rhai o honoch chwi; ond y diwrnod hwnw clywaf lais yn dywedyd wrth Thomas a Barbara Bartley, "Deuwch, chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotöwyd i chwi er seiliad y byd."

---

LLYTHYR ODDIWRTH Y DIWEDDAR BARCH. WILLIAM ROBERTS, AMLWCH.

[Ysgrifenwyd y llythyr canlynol at bregethwr ieuainc a ddygwyd i fyny yn eglwys y Methodistiaid yn Amlwch, ac a symudasai am amser o Sir Fôn.]

Amlwch, Mai 14, 1847.

HOFFUS GYFAILL,—

Mae bellach adeg led faith er pan y gwelais chwi; ac ni chlywais oddiwrthych wedi hyny. Ac o herwydd hyny, wele fi yn anfon hyn o linellau atoch, gan obeithio eich bod yn iach, ac yn mwynhâu pob cysuron a ellwch ddysgwyl yn eich sefyllfa bresennol, a'ch bod yn mwynhâu eich cysuron penaf mewn cymdeithasu â Duw. Gall y rhai'n fod yn ddigonol pan fyddo'r byd a'i bethau yn balledig a siomedig; ac, yn wir, nid yw pob peth arall yn werth dyfod i'r byd i'w cyfarfod.

Dywenydd mawr i mi oedd canfod fod eich cyfeillion yn Sir —— yn ymdeimlo mor serchiadol atoch; a gobeithiaf y cedwir chwi dros eich tymmor yn gydffurfedig â'r gair hwnw, "Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad." A gobeithiaf hefyd y gwêl yr Arglwydd yn dda fendithio eich llafur, a chwanegu eich defnyddioldeb yn barhâus. Byddwch wyliadwrus i ymgadw yn wastadol mewn agwedd weddigar; a chofiwch, pe byddai yn bosibl i chwi wneyd cystal heb hyny, nas gallech fod ond felly yn gymeradwy gyda Duw. Nid oes fodd i bregethau diweddi fod ond yn erthylaidd hynod; ac nis gall Satan ei hun lai na brawychu pan fo ei wrthwynebydd yn agos at Dduw trwy gymdeithas mewn gweddïau, yn enwedig yn y dirgel.

Byddwch wyliadwrus yn erbyn cyfeillachau llygredig; ac na feithrinwch syniadau uchel am danoch eich hun pan y galloch ryw brydiau gyfarfod â chanmoliaethau dynion gwamal ac ysgafn; y cyfryw wedi hyny a allant amcanu at dori eich esgyrn. Cofiwch fod eich sefyllfa fel gŵr ieuanc yn un beryglus i'ch taflu i wywdra trwy gyfarfod âg achlysuron i ymdrafod â myfyrdodau, ac, fe allai, ymddyddanion am newid eich sefyllfa trwy briodi. Cafodd llawer o fechgyn *promising* eu maglu gan demtasiynau o'r natur hyn, nes eu hannefnyddioli dros eu hoes, ïe, a bod yn ddrain yn eu hystlysau, os nid yn gleddyf yn eu tŷ dros eu bywyd. Gweddïwch gan hyny am gymedroldeb sanctaidd yn eich ysbryd bob amser pan y trowch eich ystyriaeth at hyn.

Eto nid wyf yn eich annog i lwyr gilio oddiwrth ystyriaethau felly; ond bob amser pan y dygwyddo hyn alw eich sylw, cofiwch y *motto* uwch ben drws myfyrgell un gŵr duwiol, "Byddwch fyr *(Be short)*;" a dilynwch y rheol Ddwyfol, "Dilyn cyfiawnder . . . . gyda y rhai sydd yn galw ar yr Arglwydd o galon bur."

Chwi a welwch fy mod yn hyf arnoch: ond gwyddoch fy mod yn dymuno eich lles a'ch cysur.

Nid wyf yn benderfynol pa un a af i Gymdeithasfa Liverpool eleni; ond os dygwydd hyny, ac i chwi fod yno, nac ymadewch fel y llynedd heb ymddangos. Yr ydym oll yn iach trwy drugaredd, ac yn cofio atoch. Marwolaethau aml sydd yn ein bro, a dyma'r prif newydd sydd genyf i'w ddyweyd. Clywsoch, mi wn, am ymadawiad ein hen gyfaill —— ——, a llawer eraill a allwn enwi. Ychydig yw'r llwydd crefyddol yn ein plith; eto y mae ambell un yn troi ei wyneb tua Sïon.

Ydwyf, hoffus gyfaill, yr eiddoch, &c.,

WILLIAM ROBERTS.

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### "TY FY NHAD."

*(Parhâd o tu dal.* 226.)

II. Y golygiad mai y nefoedd ydyw "tŷ fy Nhad."

1. Y mae y nefoedd yn fwy neillduol nag un lle arall, ac yn cael ei golygu felly yn y Bibl, yn breswylfod Duw. Y nefoedd ydyw preswylfa fwyaf neillduol a gogoneddus Duw, mangre yr amlygiadau egluraf o'i bresennoldeb a'i ogoniant; y mae wedi bod felly o'r "dechreuad," yn parhâu, ac i barhâu byth, felly; ac yno y mae cartref tragywyddol holl "deulu Duw."

(1.) Gelwir y nefoedd yn y Bibl, "annedd sancteiddrwydd a gogoniant Duw" (Esa. lxiii. 15); "trigle sancteiddrwydd" Duw (Deut. xxvi. 15); "preswyl ei drigfa" (Psa. xxxiii. 13, 14); ac y mae Duw yn galw y nefoedd "Fy annedd" (Esa. x. 4).

(2.) Pan y dywedir fod Duw yn edrych ar y ddaear neu ei thrigolion, dywedir ei fod yn edrych *o'r nefoedd* (Deut. xxvi. 15; Esa. lxiii. 15; Psa. xiv. 2; xxxiii. 13, 14; lxxx. 14; cii. 19).

(3.) Dywedir fod Duw yn gwrandaw, clywed, ac ateb gweddïau ei bobl *o'r nefoedd* (1 Bren. viii. 30; 1 Chron. xxi. 26; 2 Chron. vii. 14; Neh. ix. 27; Psa. xx. 6).

(4). *O'r nefoedd* hefyd y mae Duw yn anfon ei farnau (Gen. xix. 24; 1 Sam. ii. 10; Rhuf. i. 18).

(5.) Pan y mae yr Iesu yn son wrth ei ddysgyblion am ei Dad, geilw ef "eich Tad yr hwn sydd yn y nefoedd," "eich Tad o'r nef" (Mat. vii. 11, &c). Dysga hwynt i gyfarch Duw, "ein Tad yr hwn wyt yn y nefoedd" (Mat. vi. 9). Pan y mae efe ei hun yn cyfarch ei Dad, y mae efe yn cyfodi "ei lygaid i'r nef" (Ioan xvii. 1). Y mae ei fod wedi "dyfod o'r nef" yn gyfystyr â'i fod wedi "dyfod oddiwrth Dduw" neu "oddiwrth y Tad" (Ioan. iii. 13; vi. 38; xvi. 27, 28; xvii. 8). Pan yn llefaru am ei ddychweliad i'r nefoedd, dywed ei fod yn myned at Dduw, at yr hwn a'i danfonodd, at y Tad (Ioan xvii. 11, 13; xx. 17). Yn ngwyneb hyn onid naturiol penderfynu mai y nefoedd a olygai Iesu Grist wrth dŷ ei Dad?

Oddiwrth y dyfyniadau uchod, gwelwn fod y golygiad mai y nefoedd ydyw "tŷ fy Nhad" yn cyttuno yn rhagorol â dull yr ysgrifenwyr ysgrythyrol—"dynion sanctaidd Duw y rhai a ysgrifenasant megys y cynhyrfwyd hwy gan yr Ysbryd Glân"—a Iesu Grist o lefaru am y nefoedd. Nid wyf yn gwybod am gymaint âg un engraifft o fod yr holl greadigaeth yn cael ei galw, "annedd," "preswyl" neu "drigfa" Duw* yn y Bibl. Ond, fel yr ydym wedi gweled, y mae y nefoedd yn barhâus yn cael ei galw ar yr enwau yna; ac mewn canlyniad y mae y dull ysgrythyrol o lefaru am y nefoedd yn ffafriol i'r golygiad mai y nefoedd yw "tŷ fy Nhad."

2. Y mae yr Iesu ddwywaith yn dywedyd, "Yr wyf yn myned at fy Nhad" (adn. 12 a 28); ac nid oes ammheuaeth nad yw hyny yn golygu, Yr wyf fi yn myned i'r nefoedd. A chan ei fod ef yn yr un ymddyddan, bron yn yr un foment âg y mae yn son am ei fynediad i'r nefoedd fel mynediad at ei Dad, yn defnyddio yr ymadrodd "tŷ fy Nhad," onid yw yn naturiol i ni ddeall mai y nefoedd yw y tŷ hwnw? O dan yr amgylchiadau, yr oedd y dysgyblion bron o dan anghenrheidrwydd i ddeall mai y nefoedd ydoedd "tŷ fy Nhad." Fe fuasai, a dyweyd y lleiaf, yn annaturiol iddynt ddeall yr ymadrodd mewn un ffordd arall. Ac os hon yw yr unig ystyr âg oedd yn naturiol iddynt ei roddi i'r ymadrodd, y mae yn dra thebygol mai yn yr ystyr hwn y bwriadai yr Iesu iddo gael ei ddeall. Gan mai cysuro ei ddysgyblion ydoedd amcan yr Iesu pan yn llefaru y geiriau hyn, y mae yn sicr mai yr ystyr fwyaf naturiol ac eglur iddynt ydyw eu gwir ystyr; o herwydd nis gallwn gredu y buasai yr Iesu yn ceisio gweinyddu cysur i'w ddysgyblion trwy guddio a chloi i fyny yn ei eiriau y defnyddiau cysur a amcanai efe ei roddi iddynt.

3. Cyttuna y golygiad hwn yn rhagorol âg ystyr y gair "trigfanau," o ba rai, medd yr Iesu, y mae llawer yn nhŷ ei Dad. Fel y dywedwyd eisoes, ystyr fwyaf priodol y gair "trigfan" ydyw, lle i aros yn wastadol, preswylio yn sefydlog, cartrefu yn barhâus, ynddo; a lle felly sydd yn y nefoedd i bob un o'r saint. Pan ddattodir y "daearol dŷ o'r babell hon," yn yr hon y mae y credadyn megys yn llettŷa tra yn y bywyd hwn, y mae ganddo dŷ arall i fyned iddo yn uniongyrchol, "adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith

* Ar ol ysgrifenu y llinellau uchod, gwelais y sylw canlynol yn Fairbairn's *Typology of Scripture:* "No doubt heaven and earth are often represented in Scripture as a building of God; but, as Hengstenburg justly remarks, 'There is not to be found, in all Scripture, a single passage in which the universe is described as the building or dwelling-place of God,' so that the view of Bähr fails in its very foundation" (Cyf. II. tu dal. 240—1). Amcan yr awdwr ydyw gwrthbrofi syniad Bähr, mai arwyddlun o greadigaeth Duw ydoedd y Tabernacl. Ond ymddengys i ni fod y ddadl hon o'i eiddo yn erbyn y golygiad hwnw yr un mor gyfaddas a grymus yn erbyn y golygiad mai yr holl greadigaeth a olygir wrth "dŷ fy Nhad."

llaw, tragywyddol yn y nefoedd" (2 Cor. v. 1);—lle i aros, preswylio, cartrefu yn dragywyddol — *trigfan*. Yn ol cymhariaeth arall, y mae'r nefoedd yn "ddinas âg iddi sylfeini, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw" (Heb. xi. 10). Mewn canlyniad, "dinas barhâus" ydyw, am yr hon y mae y saint tra yn "y babell hon" yn dysgwyl, gan ddywedyd, "Nid oes i ni yma ddinas barhâus, eithr un i ddyfod yr ŷm ni yn ei ddysgwyl:"—nid oes i ni drigfanau ar y ddaear; yn y nefoedd, y "ddinas barhâus," yn unig y mae trigfanau gwirioneddol. Y mae yn wir y gelwir preswylfeydd y duwiolion yn y nefoedd yn "*bebyll*;" ond yno gofelir am eu galw yn "*dragywyddol* bebyll" (Luc xvi. 9).

4. Y mae y golygiad hwn yn berffaith gyson hefyd â'r hysbysiad fod "*llawer* o drigfanau" yn nhŷ y Tad. Dywed rhai o bleidwyr y golygiad arall fod y mynegiad hwn yn anghyson â'r golygiad mai y nefoedd ydyw "tŷ fy Nhad;" o herwydd, meddir, nad yw y Bibl yn dysgu fod llïosogrwydd o drigfanau yn y nefoedd. Ychydig o sylw sydd yn anghenrheidiol mewn trefn i weled anghywirdeb yr haeriad hwn. Onid yw y gair "nef*oedd*" ynddo ei hun yn golygu llïosogrwydd preswylfëydd nefol? A llefara y Bibl nid yn unig am "nefoedd," ond am "y nefoedd a nefoedd y nefoedd" (1 Bren. viii. 27). "Yn y nefoedd" y mae enwau y saint sydd ar y ddaear yn ysgrifenedig (Luc x. 20; Heb. xii. 23, &c.). "Yn y nefoedd" y mae eu gwobr, eu dinasyddiaeth, eu golud, eu hetifeddiaeth, &c. (Matt. v. 12; Phil. iii. 20; Heb. x. 34; 1 Pedr i. 4, &c.). Aeth yr Iesu yn ei ddychweliad at ei Dad "trwy* y nefoedd" "i'r nef ei hun" (Heb. iv. 14; ix. 24). Efe a aeth trwy lawer o drigfanau nefol i drigfan yr orsedd, ac "a eisteddodd ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd" (Heb. i. 3). "Esgynodd goruwch yr holl," goruwch pob, "nefoedd" (Eph. iv. 10). Nid yw yn anghenrheidiol i'r dyben presennol ceisio dangos ystyr yr ymadroddion hyn; dyfynir hwynt yn unig i ddangos fod y Bibl yn sôn am "lawer o drigfanau" nefol, a thrwy hyny ddangos fod mynegiad yr Iesu fod "llawer o drigfanau" yn nhŷ ei Dad, yn berffaith gyson â'r golygiad mai y nefoedd yw y tŷ hwnw.

* "*I'r* nefoedd," yn ol y cyfieithiad Cymraeg. Ond nid oes ammheuaeth nad "*trwy* y nefoedd" yw y cyfieithiad cywir. "*Through the heavens*" yw y darlleniad yn y Cyfieithiad Diwygiedig; a dyma gyfieithiad Alford a Delitzsch, a'r prif esbonwyr ar yr epistol at yr Hebreaid. Nid yr un arddodiad sydd yma, yn pen. iv. 14, ag sydd yn pen. ix. 24; yno *eis* yw yr arddodiad, ond yma *dia*. Ond yn y Testament Cymraeg yr un arddodiad, *i*, sydd yn y ddau le.

Ond hyd yn nôd pe na buasai y Bibl yn llefaru yn barhâus am llïosogrwydd o drigfanau nefol, ni fuasai y golygiad mai y nefoedd yw "tŷ fy Nhad" yn anghyson â'r dadganiad fod "llawer o drigfanau" yn y tŷ. Caniatäer fod yr Iesu wedi galw y nefoedd yn "dŷ fy Nhad,"—ffordd naturiol ac effeithiol i hysbysu y dysgyblion fod cyflawnder o le, cyfleusderau, a chyflenwadau, i lawer fyw a chartrefu yn y nefoedd ydoedd dywedyd ei fod yn dŷ â "llawer o drigfanau" ynddo. Nid yw dywedyd fod tŷ yn dŷ mawr yn ffordd mor effeithiol i roddi ar ddeall y gall llawer breswylio a gwneyd eu cartref yn gysurus ynddo ag ydyw dywedyd ei fod yn dŷ â "llawer o drigfanau." Gall fod yn dŷ mawr heb fod yn dŷ manteisiol a chysurus i lawer ymgartrefu ynddo; ond nis gall fod yn dŷ â llawer o drigfanau gwirioneddol ynddo heb fod yn dŷ mawr, ac ar yr un pryd yn dŷ cyfaddas i lawer wneyd eu cartref ynddo. Os oes "llawer o *drigfanau*" yn y tŷ, y mae ynddo gyflawnder o'r cyflenwadau anghenrheidiol tuag at ei wneyd yn gartref dedwydd i lawer. Ac y mae y nefoedd felly; y maent wedi eu bwriadu, eu trefnu, eu cyflenwi, i fod yn gartref dedwydd a thragywyddol i lawer—i bob un o'r llawer sydd yn y llawer o dyrfaoedd mawrion — pob tyrfa mor fawr fel "nas dichon neb eu rhifo." "Yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau." Mor gyfaddas yw y geiriau hyn yn y wedd hon arnynt—fel desgrifiad o'r nefoedd!

Y mae yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedwyd nad yw y geiriau hyn, yn ol y golygiad yr ydym yn dadleu drosto, yn cynnwys o anghenrheidrwydd fod gan bob un o breswylwyr y nefoedd ystafell, neu rywbeth cyffelyb, neillduol iddo ei hun. Ond hyd yn nôd pe byddent felly, nid ydym yn gallu gweled fod dim yn nysgeidiaeth y Bibl yn anghyttuno â hyny. Ceir rhai ymadroddion ag y gellir eu deall fel awgrymiadau fod rhywbeth tebyg i hyny yn null y nefolion o fyw. Llefara Iesu Grist am y saint yn y nefoedd fel pe byddai pob un o honynt yn feddiannol ar babell at ei wasanaeth ei hun (Luc xvi. 9). Fe allai fod pob un o'r nefolion yn meddu ffigysbren, neu yn fwy tebyg, "bren y bywyd" (Dat. xxii. 2) o'i eiddo ei hun, i fyned i eistedd, myfyrio, addoli, mewn unigrwydd odditano, ac yn meddu pabell neu ystafell o'i eiddo ei hun i ymneillduo iddi, ac i wahodd ei gyfeillion i mewn ato i chwedleua am daith yr anialwch, y wlad nefol, y pethau a ddarparodd Duw i'r rhai sydd yn ei garu, i gydymddyddan am ryfeddodau yr iachawdwriaeth, i gynnorthwyo eu gilydd megys i godi y lleni mawrion o ddirgelwch sydd yn eu cysgodi,

fel ag i ehangu yr olwg arnynt. Y mae dull y nefolion o fyw yn anadnabyddus i ni; "nid amlygwyd eto beth a fyddwn" yn yr ystyr hwn; ac nid yw yr ymadrodd "yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau," yn ol y golygiad mai y nefoedd ydyw, o anghenrheidrwydd yn dadlenu dim ar y dirgelwch hwnw. Ond os ydyw yr Arglwydd Iesu yn awgrymu rhywbeth gyda golwg ar hyny, nid yw y rhywbeth hwnw, a dyweyd y lleiaf, yn anghyson â dysgeidiaeth y Bibl gyda golwg ar y bywyd nefol.

Y mae y golygiad mai y nefoedd yw "tŷ fy Nhad" yn berffaith gyson â'r myn·egiad fod yno "*lawer* o drigfanau."

5. Y mae bron yr holl esbonwyr a'r ysgrifenwyr sydd yn sylwi ar y geiriau hyn yn awgrymu fod yn yr ymadrodd "tŷ fy Nhad" gyfeiriad at y deml yn Jerusalem. Un o'r enwau, os nad yn wir yr enw, a ddefnyddir amlaf yn y Bibl ar y deml yw "Tŷ yr Arglwydd," neu "Tŷ Dduw." Y mae y cyfeiriadau at yr adnodau lle y gelwir y deml yn dŷ Dduw yn rhy liosog i'w nodi. "Fy nhŷ i" y mae Duw yn ei galw (Mat. xxi. 13); a gelwir hi gan Iesu Grist yn "dŷ fy Nhad" (Ioan ii. 16). Naturiol, gan hyny, yw meddwl fod yn yr ymadrodd yn y geiriau dan sylw ryw gyfeiriad at y deml.

Barna llawer o awduron enwog fod y tabernacl a'r deml yn arwyddlun neu gysgod o'r holl greadigaeth; a thybir oddiwrth hyny fod y cyfeiriad tybiedig at y deml gan Iesu Grist yn yr ymadrodd "tŷ fy Nhad" yn y lle hwn, yn cadarnhâu y golygiad mai yr holl greadigaeth a olygai efe wrth hyny. Gwna un o bleidwyr y golygiad hwn y sylw prydferth canlynol: "Wrth dŷ ei Dad y deallaf ei fod yn golygu yr holl greadigaeth fawr, gweledig ac anweledig, gyda rhai o'i thrigfanau y tu yma i afon marwolaeth, a rhai o'r tu draw, megys ag yr oedd rhai o gynteddau ac ystafelloedd y tŷ yn Jerusalem ar un tu i'r ffrwd fechan a lifai trwyddo, a rhai o'r tu arall."* Ond, onid yw yn llawer iawn mwy tebygol fod y deml yn arwyddlun neu gysgod o'r nefoedd nag o'r holl greadigaeth? Dywed awdwr yr Epistol at yr Hebreaid, fod yr Iesu, wedi iddo eistedd "ar ddeheulaw gorseddfainc y Mawredd yn y nefoedd," "yn weinidog y gysegrfa a'r gwir dabernacl" (Hebreaid viii. 1, 2). Dywed ymhellach fod "yr offeiriaid y rhai sydd yn offrymu rhoddion yn ol y ddeddf," yn "gwasanaethu i siampl" neu bortreiad, "a chysgod y pethau nefol" (viii. 4, 5). A dywed drachefn mai "portreiadau y pethau sydd yn y nefoedd" ydoedd y "tabernacl a holl lestri y gwasanaeth." "Portreiad y gwir gysegr" oedd y "cysegr o waith llaw." Nid i hwnw yr aeth Crist i mewn; ond i'r "gwir gysegr;" nid i'r portreiad o'r nef, "ond i'r nef ei hun, i ymddangos yn awr ger bron Duw trosom ni" (ix. 23, 24). Mwy tebygol o lawer ydyw fod awdwr yr Epistol at yr Hebreaid yn golygu pabell Duw a adeiladwyd gan Moses, a thŷ y Tad oedd yn Jerusalem, fel arwyddlun neu bortreiad o'r nefoedd, na'i fod yn eu golygu fel arwyddlun neu bortreiad o'r holl greadigaeth; ac mewn canlyniad, os oes cyfeiriad yn yr ymadrodd, "Tŷ fy Nhad" yn y geiriau dan sylw, at y deml, y mae'r cyfeiriad hwnw yn gadarnhâd i'r syniad mai y nefoedd a olygai yr Iesu wrth dŷ ei Dad.

6. Y mae y golygiad hwn yn cyttuno yn rhagorol âg amcan neillduol yr Iesu yn llefaru y geiriau hyn. Yr oedd y dysgyblion yn awr â'u calonau yn drallodedig (adn. 1), wedi ei llenwi gan dristwch (xvi. 6), o herwydd, yn benaf, fod yr Iesu wedi eu hysbysu ei fod yn myned i'w gadael yn uniongyrchol. Yr oedd wedi dywedyd wrthynt i ba le yr oedd efe yn myned (adn. 4; xiii. 33, cymharer â vii. 34). Yr ymadrodd cyffredin trwy ba un y byddai efe yn eu hysbysu o'i ymadawiad ydoedd, "Yr wyf yn myned at fy Nhad," yr hwn fel yr ydym wedi ceisio dangos sydd yn gyfystyr a dywedyd, neu o'r hyn lleiaf yn cynnwys, ei fod yn myned i'r nefoedd; ac mewn canlyniad, ac o herwydd yr amrywiol ystyriaethau eraill yr ydym wedi eu nodi, yr oedd "tŷ fy Nhad" yn enw a ddeallid ganddynt yn uniongyrchol yn dynodi y nefoedd. Yn awr, gan eu bod yn gwybod ei fod efe yn symud i dŷ ei Dad, ac yn galaru o herwydd ei fod yn myned yno, gan eu gadael hwy ar y ddaear yn amddifad o'i bresennoldeb, ei amddiffyniad, a'i gymdeithas, mor llawn o sugn melus i bereiddio y ffynnon chwerw o drallod oedd oddimewn i bob un o honynt,—y rhaid fod y gangen hon,—"yn nhŷ fy Nhad y mae llawer o drigfanau"—ar y balmwydden ganghenog a ffurfir gan y tair adnod gyntaf o'r bennod hon. Yr oedd Efe newydd ddywedyd wrthynt, "Lle yr wyf fi yn myned, ni ellwch chwi ddyfod" (xiii. 33). Yr oedd perygl iddynt feddwl oddiwrth hyny nad oedd lle iddynt hwy yn nhŷ ei Dad, ac mewn canlyniad na chaent fyned yno ato; ac o dan yr amgylchiadau hyn yr oedd meddwl am ei ymadawiad yn chwerw annyoddefol iddynt. Ond y mae yr Iesu yn eu sicrhâu mai nid prinder lle yn nhŷ ei Dad oedd yr achos nas gallent hwy ddyfod yno gydag ef. Ond yr oedd yn anghenrheidiol iddo ef fyned yno o'u blaen i barotoi y trigfanau ar eu cyfer: "Yr wyf fi yn

* Dr. Cox, Golygydd yr *Expositor*, yn yr *Expositor*, Hydref, 1883.

myned i barotoi lle i chwi." Ac yr oedd y parotöad yr oedd Efe yn eu rhagflaenu i dŷ ei Dad i'w effeithio, mor bwysig ac anghenrheidiol fel yr oedd eu mynediad hwy yno yn dibynu arno: "Ac os myfi a âf ac a barotoaf le i chwi, mi a ddeuaf drachefn ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun." Yr oedd efe mewn canlyniad yn myned ymaith o'u blaen mewn trefn iddo ef a hwythau gael byw yn dragywyddol yn yr un lle: "fel lle yr wyf fi y byddoch chwithau hefyd."

IOAN DAVIES.

*Barrow in Furness.*

---

# Bwrdd y Golygydd.

## CYMDEITHAS BRYDEINIG A THRAMOR Y MORWYR.

DENGYS y ffigyrau canlynol werth a daioni y Gymdeithas hon. Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf agorodd y môr feddrod yn ei dònau i 4129 o forwyr, a phob un o honynt yn gorfod darllen y gwasanaeth claddu iddo ei hun. Suddwyd 139 o longau yn yr eigion trwy wrthdarawiad *(collision)* yn unig, gadawyd 143, a llosgodd 10; ond trwy drugaredd yr Hwn sydd yn dal y môr yn ei ddwrn diangodd ychydig i ddyweyd yr hanes torcalonus. Pe buasai y tânau hyn yn goleuo yr holl foroedd, ni ddangosent fedd y morwr. Ond ymgysured y galarwyr, yn dadau, mamau, brodyr, a chwïorydd ag ydynt yn galaru am eu hanwyliaid. Dichon y bydd llawer o honynt ar ddeheulaw y Barnwr pan y byddo y moroedd yn rhoddi i fyny eu meirw, wedi cyrhaedd yno drwy y cyfleusderau a gawsant i wrando yr efengyl drwy Genadon y Gymdeithas hon, sydd yn awr er ys 65 o flynyddoedd yn ymdrechu cael y morwyr i'r noddfa sydd yn Nghrist Iesu. Y mae gan y Gymdeithas erbyn hyn 47 o Genadon, ac *agents* mewn 33 o'r porthladdoedd pwysicaf. Yn enw ein Duw yr ydym wedi dyrchafu ein baner. (Salm xx. 5.) Yn y flwyddyn 1854 y dyrchafwyd ein *Bethel Flag* gyntaf yn Alexandria, yn Môr y Canoldir, un o hen lwybrau yr apostol Paul. Dros y Gymdeithas, apeliodd Trafnoddwr Cyffredinol ei Mawrhydi y Frenines at Pacha yr Aipht am *Bethel Ship*. Dyma ei atebiad:—"Er fy mod yn Fahometan, nid wyf yn rhagfarnllyd. Yr wyf pob amser yn barod i gynnorthwyo pob peth da. Edrychwch am long gyfaddas i chwi." Dewiswyd un haiarn, gwnaed hi yn gyfaddas i'r gwaith, a thalodd y Pacha y gost o 500p. Dygwyddodd ymhen ychydig wythnosau ar ol ei hagoriad, i forwr ieuanc, pan ganfyddodd y *Bethel Flag* yn ymddyrchafu arni un bore Sabbath, fyned ar ei bwrdd i'r cyfarfod, ac argraffwyd ar ei galon deimladau crefyddol, a chofia y bregeth hyd heddyw; a'r cyfarfod hwn, yn llaw yr Ysbryd Glân, a fu yn un ddolen yn nghadwyn ragluniaethol Duw i'w barotoi i fod yn Genadwr i'r morwyr am rai blynyddoedd yn Antwerp, ac yn awr yn ysgrifenydd y *British and Foreign Sailors Society;* y pryd hyny "Y morwr bach," ond yn awr y Parch. Edward W. Matthews.

Y mae *Suez Canal*, ffordd fawr y cenedloedd i India, China, Japan, Australia, New Zealand, Dwyrain Affrica, Madagascar, &c., wedi ychwanegu yn fawr at bwysigrwydd gorsaf y Gymdeithasfa yn Malta, lle y galwodd y rhan fwyaf o'r pedair mil llongau a aethant drwy y Canal y flwyddyn ddiweddaf; ac yn ystod pymtheg mlynedd ymwelodd y Cenadwr yno â 18,717 o longau, ac â 6647 o forwyr cleifion, a gwerthodd 2401 o Fiblau a Thestamentau, a rhoddodd 14,651 o Efengylau, heblaw cadw y gwahanol gyrddau yn y *Bethel Ship;* ac y mae yn awr ar y ffordd iddo *steam-boat* bychan, fel y gallo gario yr efengyl yn gyflymach o borthladd i borthladd; ac y mae R. Corry, Ysw., Caerdydd, wedi addaw digon o 16 at ei wasanaeth yn rhad ac am ddim. Diolch am ddigon o 16 yn y ddaear i Corry, ac i Corry am ei roddi yn ol i Dduw.

Taenwyd yn ystod y flwyddyn o'r blaen, ymhlith morwyr o wahanol genedloedd, 2829 o Fiblau, 7186 o Destamentau, 28,632 o Efengylau, &c., yn gwneyd cyfanswm o 38,647. Dyma, mewn gwirionedd, ydyw bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd, ac y mae wedi ei gael lawer gwaith. Gwelsom Portugee bychan, ymhen tri mis wedi rhoddi Testament iddo, yn canmawl ac yn dyweyd, *This book very good; tell me of Jeso Christo."* Mr. Hughes, Milford, a ddywed iddo ymweled â llong yn rhwym i Chefoo, China, heb yr un Bibl yn y *forecastle*, lle y mae y morwyr cyffredin yn byw, ac heb arian i brynu un. Synodd y *captain* pan ddeallodd hyn, ac a orchymynodd Fibl i bob un o'r *crew* yn ei iaith ei hun, a thynodd allan *fil* i berchenog y llestr i'w dalu. Nid â llong i'r môr heb *chart*, ac ni ddylai fyned heb y Bibl. Y mae llong yn fyd bychan, ac ni ddylai fod heb lyfr Duw ar ei bwrdd.

Rhoddodd y Gymdeithas hon allan yn y flwyddyn ddiweddaf 277 o lyfrgelloedd *(libraries);* a rhwng y rhai oedd allan yn nechreu y flwyddyn, y mae yn nofio heddyw 547 ar fwrdd 545 o longau, yn cynnwys 8629 o lyfrau wedi eu rhwymo, a 40,000 o fân lyfrau; a dychwelodd un o'r cypbyrddau hyn eleni wedi bod yn yr un llong am ddeng mlynedd.

*Porthladd Caergybi.*—Y mae y porthladd hwn yn bwysig yn nghyfrif y Gymdeithas, o herwydd fod o 14,000 i 16,000 o forwyr yn galw yma bob blwyddyn am nodded rhag cynddeiriogrwydd yr ystormydd. Ymdrechir eu cyfeirio at y noddfa sydd yn Nghrist Iesu. Yn ystod naw mis o'r flwyddyn diweddaf ymwelwyd â 1288 o longau, a chynnaliwyd cyfarfodydd ar fwrdd 140. Yr oedd o forwyr yn bresennol yn y cyfarfodydd hyn, 2864, heb enwi cyfarfodydd a gynnaliwyd ar y lân. Rhoddwyd 38 o Fiblau, Testa-

mentau, ac Efengylau; o wahanol lyfrau eraill, 451; *tracts*, 4826. Rhoddwyd 113 o bregethau Spurgeon, John Ellas, a llyfrau hymnau Sankey. Hyderir y bydd yn dda gan lïaws mawr cefnogwyr y Gymdeithas yn Nghymru weled y talfyriad bychan hwn o waith y Gymdeithas; a dymunir eu taer weddïau am i deyrnas yr Emmanuel lwyddo ar y môr. Fe ddechreuodd yr Iesu ei waith gydag ychydig bysgodwyr, ac ni orphena mo hono heb i'r morwyr oll gael eu dwyn o dan faner y groes. Dywedodd y bendigedig Iesu ar lân môr Galilea: "Awn drosodd i'r tu draw. A hwy a ufuddhasant ac a aethant." Ac fe adseinia y gair eto ar lànau moroedd Prydain Gristionogol, "Yn ddiau yr ynysoedd a'm dysgwyliant." A dyweded pob morwr ag y mae enw yr Iesu arno, "Ninnau a awn hefyd."

Aeth allan o borthladdoedd Prydain yn unig mewn *un* flwyddyn gynifer â phedair miliwn o forwyr; ac amcan y Gymdeithas ydyw cael y rhai hyn oll yn dduwiol. Byddai hyn yn gynifer a hyny o Genadon dros Grist i'r ynysoedd. Rhaid *oedd* wrth longau Tarsis *yn gyntaf;* rhaid eto wrth longau Prydain. Bydd y cenadon yn Nghaergybi, Milford Haven, Abertawy a Chaerdydd, yn ddiolchgar am bob cymhorth mewn cyfraniadau a llyfrau perthynol i bob enwad Cristionogol, megys y gwahanol fisolion, a llyfrau crefyddol eraill mewn unrhyw iaith, yn neillduol yn Gymraeg a Saesoneg.—Yr eiddoch, yn rhwymau yr efengyl,

JOHN ELLIS, *Cenadwr*.

*Caergybi.*

---

GWELLIANT GWALL. R YN LLE N.

GWELIR fod cysodydd yr erthygl gyntaf yn ein rhifyn diweddaf—"Dilyn Cyfiawnder a Thrugaredd" wedi gwneyd gwall digrifol, os nad un difrifol, a bod y cyfryw wall wedi dianc yn ddisylw, ysywaeth, gan adolygwyr y prawfleni. Argraffwyd y geiriau a ddylasent fod, "Rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu" yn "Rhoddwr llawer y mae Duw yn ei garu." Beth pe buasai yr hen frawd yn fyw yn awr, yr hwn a dywedodd yr hyn a ganlyn mewn cyfarfod eglwysig, beth, tybed, a dywedasai efe wrth ddarllen y camgymeriad hwn? Yr oedd efe yn dywedyd yn nghanol ei frodyr, wedi adrodd y geiriau a nodwyd, "Rhoddwr llawen y mae Duw yn ei garu,"—"Yr wyf yn diolch i Dduw am mae y llythyren *n*, ac nid *r*, sydd yn niwedd yr ail air. Nid rhoddwr *llawer;* pe felly, buaswn i yn cael fy ngadael allan, ond rhoddwr *llawen;* ac mi ddof finnau i mewn yna."

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## Y GYMANFA GYFFREDINOL,

A GYNNALIWYD YN ABERTAWE, MAI 29—MEHEFIN 1AF, 1883.

LLYWYDD,—Y Parch. THOMAS LEVI, Aberystwyth.

(*Parhâd o tu dal.* 270.)

PEDWERYDD EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Bore Dydd Iau, am 9 30 o'r gloch.*

DECHREUWYD gan y Parch. John Rees Owen, Penfro, trwy ddarllen a gweddïo.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XXIX. Cyflwynwyd gan Mr. John Jones, Llanfyllin, adroddiad y Cyfeisteddfod a appwyntiwyd i enwi Dirprwyaeth i fyned at brif dirfeddiannwyr Cymru gyda golwg ar gael y tir sydd yn eiddo iddynt ar ba un y byddo Capelau wedi eu hadeiladu ar brydles, neu heb weithred, ar werth, ac yn feddiant i'r Cyfundeb, a chyflwynwyd yr enwau canlynol:—Mri. D. Davies, A.S.; R. Davies, A.S.; J. Roberts, A.S.; D. Roberts, Tanrallt; Thomas Phillips, henaf; y Parchn. Dr. Edwards, Dr. Thomas, D. Edwards, Casnewydd; a D. Saunders, Abertawy. Cynnygiodd y Parch. Roger Edwards, ac eiliodd y Parch. W. Williams, a phenderfynwyd fod y brodyr hyn yn cael eu happwyntio, a bod Mr. John Jones, Llanfyllin, i fod yn gynnullydd ac yn aelod o'r Ddirprwyaeth.

XXX. Cynnygiwyd gan y Parch. John Rees Owen, Penfro, ac eiliwyd gan y Parch. Aaron Davies, Pontlottyn, a phenderfynwyd,—Ein bod yn taer ddymuno ar i gasgliad at y Genadaeth Dramor gael ei wneyd yn nghyfarfod Cenadol cyhoeddus y Gymanfa Gyffredinol bob blwyddyn os bydd y lle y cynnelir y Gymanfa yn gweled y byddai yn ddoeth a dymunol.

XXXI. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, ac eiliwyd gan y Parch. William Williams, Abertawe, a phenderfynwyd,—Ein bod yn ymddiried y materion pwysig o gael cenadwr chwanegol eto i'r India, Athrofa i bregethwyr yno, a chenadwr eto i Lydaw, i fod dan ystyriaeth y Cyfeisteddfod Gweithiol yn Liverpool, ac os barnant hwy yn angenrheidiol eu bod i alw ar y Cyfarwyddwyr Sirol i gyfarfod â hwy i ymgynghori ynghylch y materion hyn.

XXXII. Cyflwynwyd Adroddiad Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol, gan y Parch. Thomas Levi, Ysgrifenydd y Pwyllgor.

Cyfarfu y Pwyllgor amryw weithiau oddiar

y Gymanfa o'r blaen, ac yn wythnosol yn ystod misoedd Ebrill a Mai. Er fod yr adroddiad yn fyr, treuliwyd oriau lawer i ymdrin â gwahanol faterion cysylltiedig â'r Ysgol Sabbothol. Mewn pwyllgor a gynnaliwyd yn nechreu mis Ebrill, darllenwyd y genadwri ganlynol at y pwyllgor o Gyfarfod Misol Dwyrain Morganwg:—"Ein bod yn awgrymu i'r pwyllgor yn Aberystwyth y priodoldeb o gael tystysgrifau unffurf i'r holl Dywysogaeth."

Y prif bethau fuont dan sylw y pwyllgor ydynt:—

I. Yr Arholiadau. Gyda golwg ar y rhai hyn,—1. Penderfynwyd anfon at y Siroedd i gael gwybod am eu harholiadau a'u tystysgrifau presennol, ac erfyn arnynt anfon atebion i'r pedwar cwestiwn canlynol:—"(1) Pa fath arholiadau sydd genych yn eich Sir i roddi tystysgrifau ynglŷn â hwy? (2) A ydyw y tystysgrifau a roddwch i wahanol ddosbarthiadau yr un fath o ran yr argraffwaith? (3) A allwn ni gael copi o'ch tystysgrifau fel esiampl, ynghyd a'u pris? (4) A gyttunech chwi i gael arholiadau a thystysgrifau unffurf i'r holl Dywysogaeth?"

Ar ol derbyn atebion y Cyfarfodydd Misol, deallwyd fod rhai o'r Siroedd heb arholiadau na thystysgrifau. Cafwyd o'r rhan fwyaf o'r Siroedd nifer mawr o gopïau o'r tystysgrifau a arferir, ynghyd a llawer o sylwadau ar y gwahanol faterion yr ymholid yn eu cylch. Wedi cael yr hysbysrwydd o'r Siroedd, penderfynodd y pwyllgor gynnyg y pethau canlynol:—1. Fod annogaeth daer yn cael ei rhoddi i'r Siroedd sydd ar ol i gychwyn gyda'r arholiadau, gan eu bod yn foddion effeithiol i gynnyrchu bywyd a llafur yn yr Ysgolion. 2. Fod tystysgrifau unffurf i gael eu parotoi i'r holl Gyfundeb, yn Gymraeg a Saesoneg. 3. Fod yr arholiadau am y tystysgrifau hyn i fod yn Sirol, a Chyffredinol. (1) *Yn Sirol:*—Gadewir yr Arholiadau Sirol dan reolaeth Pwyllgor Sirol yr Ysgol Sabbothol, ond yn unig fod y rhai hyn i gael eu trefnu yn dri dosbarth; y cyntaf i blant dan bymtheg oed; yr ail i rai dan ugain oed; a'r trydydd i unrhyw oed; a bod tystysgrif wahanol ar gyfer pob dosbarth. (2) *Yn gyffredinol:*—Bwriedir yr arholiad hwn i'r rhai hyny yn unig a fyddo wedi ennill y dystysgrif uchaf yn yr Arholiad Sirol; a bod arholwyr y dosbarth hwn i gael eu penodi gan y Gymanfa Gyffredinol, a thystysgrif neillduol i gael ei rhoddi i bob ymgeisydd a gymeradwyir gan yr Arholwyr.

II. Y Canmlwyddiant.

1. Gyda golwg ar y *medal* y bwriedir ei gael erbyn Cymanfaoedd y Canmlwyddiant, dymunir coffa y dysgwylir i bob Sir gymeryd nifer cyfartal i nifer aelodau yr Ysgol Sabbothol yn y Sir hono, a dymunir ar y Siroedd anfon at y pwyllgor mor fuan ag y gallont y nifer fyddant am gael, gan y bydd yn anghenrheidiol gwybod y nifer fydd yn eisieu cyn y gellir gorphen y cyttundeb am eu gwneuthuriad. Y *medal* i fod yn Gymraeg a Saesoneg. 2. Penderfynwyd hefyd fod darlun o Mr. Charles i fod ar un wyneb i'r medal, ynghyd a dyddiad ei enedigaeth a'i farwolaeth, ac ar y wyneb arall, ar y canol, yr adnod, "Chwiliwch yr Ysgrythyrau, &c," a dyddiad y canmlwyddiant o amgylch, yn ol y cynllun canlynol:—







3. Penderfynwyd gofyn barn y Gymanfa am y priodoldeb o gael nifer o'r *medal* mewn *bronze.* 4. Bu y cwestiwn o gael anthem erbyn y Canmlwyddiant o dan sylw y pwyllgor unwaith ac eilwaith; nid yw y pwyllgor eto yn addfed i osod cynnygiad penodol o flaen y Gymanfa, ond barnai yn ddoeth ofyn awdurdod y Gymanfa, i ddwyn yr amcan hwn i ben, un ai trwy gystadleuaeth, ai ynte trwy ryw ffordd arall a fernir yn fwy ymarferol. 5. Bod cenadwri i gael ei hanfon o'r Gymanfa at y ddwy Gymdeithasfa yn dymuno arnynt gymeryd i'w hystyriaeth y priodoldeb o sefydlu mewn cysylltiad â'r amrywiol Gyfarfodydd Misol, oruchwylwyr Sirol i'r Ysgol Sabbothol yn ein gwlad.—Thomas Levi, *Ysgrifenydd.*

Penderfynodd y Gymanfa adael materion y *bronze medal* a'r anthem i farn y pwyllgor yn Aberystwyth.

XXXIII. Ymwelwyd â'r Gymanfa gan y Parchn. Dr. T. Rees a Benjamin Williams, Abertawy, fel Cynnrychiolwyr oddiwrth

Gymanfa yr Eglwysi Annibynol yn Sir Forganwg. Cyflwynwyd hwy gan y Llywydd, a dadganasant deimlad da eu cyfeillion tuag atom fel Cyfundeb, a'u dymuniad am ein llwyddiant yn y dyfodol. Llongyfarchent hefyd y Gymanfa am y gwaith a wnaethpwyd gan ein Cyfundeb yn Nghymru yn y gorphenol. Cynnygiwyd gan y Parchn. W. Williams, Abertawy, ac eiliwyd gan y Parch. Roger Edwards, Wyddgrug, a phenderfynwyd yn unfrydol a brwdfrydig, Ein bod fel Cymanfa yn rhoddi y derbyniad mwyaf gwresog i'r ddau frawd y Parchn. Dr. Rees a Benjamin Williams, fel Cynnrychiolwyr oddiwrth Undeb Cynnulleidfaol Morganwg, ac yn cyflwyno ein diolchgarwch iddynt am eu hanerchiadau rhagorol a'r teimladau caredig a ddadganent tuag atom.

XXXIV. Cynnygiwyd gan y Llywydd, ac eiliwyd gan y Parch. Thomas Rees, Cefncoedycymmer,—Ein bod yn appwyntio y Parchedigion Dr. Owen Thomas, a Roger Edwards, a Meistri John Jones, Llanfyllin, a D. Jenkin Davies, Aberystwyth, fel Cynnrychiolwyr y Gymanfa i Gyfarfod yr Undeb Cynnulleidfaol Cymreig, yr hwn sydd i'w gynnal yn Mlaenau Ffestiniog yn mis Awst nesaf.

Terfynwyd trwy weddi gan Dr. Rees, Abertawy.

### PUMMED EISTEDDIAD Y GYMANFA.

*Am Ddau o'r gloch y Prydnawn.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Thomas Rees, Cefncoedcymmer.

Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y cyfarfod blaenorol.

XXXV. Cynnygiwyd gan y Parch. J. M. Jones, Caerdydd, ac eiliwyd gan y Parch. William John, Bridgend, a phenderfynwyd, fod Adroddiad Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol i gael ei dderbyn.

XXXVI. Cynnygiwyd gan Mr. R. J. Davies, Cwrtmawr, ac eiliwyd gan y Parch. William Jones, Four Crosses, a phenderfynwyd fod y personau canlynol i fyned dros y Gymanfa i ddadorchuddio Cofgolofn y Parch. Daniel Rowlands:—Y Parchn. Dr. Edwards, Dr. Owen Thomas, Joseph Thomas, W. Williams, Abertawe; W. Howell, Trefecca; a T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth.

XXXVII. Cyflwynwyd yr Ystadegau gan y Parch. Joseph Evans, Tredegar. Yr oedd yr Adroddiad fel y canlyn:—

Y mae genym y flwyddyn hon eto yr un gŵyn i'w dwyn ymlaen ag arfer am ddiwedd arwch yr Ystadegau yn dyfod i law oddiwrth un neu ddau o'r Cyfarfodydd Misol, a hyn yn peri ein bod yn analluog i gyflwyno adroddiad mor llawn ag a ddymunem i'r Gymanfa yn argraffedig. Mae yn gyfiawn i'r Cyfarfodydd Misol sydd yn brydlawn gyda hyn, i ni hysbysu mai nid y Cyfarfodydd Misol lliosocaf sydd ar ol yn hyn yn y cyffredin, ond rhyw un neu ddau o'r llwythau lleiaf, pa rai y gellid meddwl fuasai y rhai hawddaf i gael eu cyfrifon ynghyd. Y mae y taflenau sydd yn eich dwylaw yn dangos fod cynnydd amlwg a chalonogol iawn yn y prif bethau y rhoddir cyfrif am danynt yn yr ystadegau; ac y mae yn dda genym allu dyweyd fod yr un peth yn ffaith am bron bob adran o'r Ystadegau. Fel y dywedwyd am beth arall,—*It is progress all along the line;* ac yr ydym yn credu y dylid cymeryd cysur oddiwrth hyn. Os ydyw anffyddiaeth yn ennill tir, a Phabyddiaeth yn ennill tir, y mae Cristionogaeth hefyd yn ennill tir, nid yn unig mewn proffes ond hefyd mewn gweithgarwch ac haelioni. Llawenydd yr Arglwydd yw nerth ei bobl, ac y mae ein hadroddiad ystadegol heddyw am y gwaith mawr yn ein heglwysi gartref y cyfryw ag a ddylai gynnyrchu ynom lawenydd a diolchgarwch fel yr oedd yr adroddiad am y Gymdeithas Genadol Dramor ddoe.

A ganlyn ydyw ystadegau yr eglwysi, y capelau, yr aelodau, a'r Ysgol Sabbothol.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Nifer yr Eglwysi ... | 1193 | cynnydd | 14 |
| Capelau a Lleoedd Pregethu ... ... ... | 1872 | " | 29 |
| Capelau newyddion a agorwyd ... ... | 19 | " | 7 |
| A adgyweiriwyd ... | 32 | " | 25 |
| A helaethwyd ... ... | 10 | " | 3 |
| Adeiladau at wasanaeth yr Ysgol ... ... | 230 | " | 22 |
| Gweinidogion ... ... | 616 | " | 6 |
| Pregethwyr ... ... | 854 | lleihâd | 17 |
| Blaenoriaid ... ... | 4383 | cynnydd | 66 |
| Cymunwyr ... ... | 122,107 | " | 2652 |
| Ymgeiswyr am Aelodaeth ... ... ... | 4197 | " | 1168 |
| Plant yn yr Eglwysi ... | 58,106 | " | 1654 |
| A dderbyniwyd i Gymundeb ... ... | 8644 | " | 1503 |
| O hâd yr eglwys a dderbyniwyd ... ... | 3306 | " | 238 |
| Diarddelwyd ... ... | 1941 | " | 276 |
| Bu farw ... ... ... | 2381 | lleihâd | 83 |
| Ysgolion Sabbothol ... | 1445 | cynnydd | 16 |
| Swyddogion, Athrawon ac Athrawesau ... | 23,288 | " | 475 |
| Cyfanrif Swyddogion ac Ysgoleigion ... ... | 76,981 | lleihâd | 604 |
| Gwrandäwyr ... ... | 275,370 | cynn. | 765 |

Nid oes ond saith o Gyfarfodydd Misol ymha rai mae lleihâd yn nifer yr aelodau, ac nid yw y lleihâd mewn tri o honynt ond bychan iawn—Dehau Aberteifi 8, Dyffryn Conwy 4, Trefaldwyn Uchaf 14; yn Mynwy mae lleihâd o 53, Lleoedd Cenadol Liverpool 112, Penfro 140, a Fflint 206.* Ond y mae cynnydd amlwg mewn dau ar bymtheg o Gyfarfodydd Misol a Henaduriaethau: ac y

* Gwelir yn Nghofnodau Cymdeithasfa yr Wyddgrug mai camgymeriad yw y nifer uchod am Sir Fflint; cynnydd ac nid lleihâd sydd yno.

mae cynnydd clir ar ol tynu allan y lleihâd yn y saith y cyfeiriwyd atynt o 2752. O'r rhai hyn y mae 1521 yn perthyn i Ogledd Cymru, a 1231 i'r Deheubarth.

Mae'r manylion arianol fel y canlyn :—

| | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ardreth Eisteddleoedd ... ... | 23,088 | 14 | 2 | c | 546 | 1 | 9 |
| At y Weinidogaeth | 70,239 | 18 | 1 | c | 2506 | 16 | 4 |
| At y Cenadaethau | 6704 | 2 | 7 | c | 107 | 12 | 11 |
| Achosion Seisonig | 951 | 5 | 10 | c | 241 | 4 | 6 |
| Lleoedd Gweiniaid | 1538 | 16 | 1 | c | 143 | 5 | 5 |
| I'r Tlodion .. | 2372 | 9 | 10 | ll | 432 | 2 | 2 |
| At ddyled Capelau | 38,458 | 3 | 9 | c | 6942 | 7 | 10 |
| At Achosion eraill | 29,326 | 9 | 8 | ll | 1256 | 4 | 2 |
| Cyfanswm y Derbyniadau ... | 172,686 | 14 | 2 | c | 10,138 | 13 | 10 |
| A ddefnyddiwyd o ardreth yr Eisteddleoedd ... | 6534 | 5 | 2 | c | 281 | 4 | 11 |
| Dyled bresennol y Capelau ... | 324,678 | 7 | 1 | c | 13,378 | 15 | 6 |

[Mae c yn arwyddo cynnydd; ll, lleihâd.]

Mae lleihâd yn y casgliadau mewn chwech o Gyfarfodydd Misol, tra y mae cynnydd mewn 19, a chynnydd yn y cyfanswm i'r swm mawr o £10,138 13s. 10c., y cynnydd mwyaf mewn un flwyddyn er pan yr ydym yn casglu ystadegau, oddigerth y flwyddyn 1878. O'r cynnydd hwn y mae £4003 10s. 11c. o'r Dalaeth Ogleddol, a £6132 2s. 11c. o'r Dalaeth Ddeheuol. Mae cyfanswm y casgliadau eleni yn uwch nag y buont mewn un flwyddyn flaenorol—dyma yr uchder mwyaf yn y *tide* eto, yn nghyfanswm y casgliadau a nifer yr aelodau. Ac y mae yn deilwng i'w nodi gyda diolchgarwch mai cynnydd yr ydys wedi bod yn abl i groniclo yn rhif yr aelodau am dair blynedd ar ddeg yn olynol; ac y mae'r cynnydd hwn gryn lawer yn fwy na chynnydd y boblogaeth. Cynnydd y boblogaeth yn Nghymru am y deng mlynedd o 1871 i 1881 oedd 11·7 y cant, ond y mae cynnydd ein haelodau yn ystod y deng mlynedd diweddaf wedi bod yn ol 28·2 y cant.

Goddefwch i ni alw eich sylw at ystadegau yr Eglwysi Saesoneg, gan ein bod yn credu mai un o bynciau pwysicaf y dydd ynglŷn â'r Cyfundeb ydyw ein hiawn ymddygiad yn ngwyneb dylifiad yr iaith Saesoneg dros y wlad, yn enwedig y Siroedd sydd ar gyffiniau Lloegr, ac hefyd y Siroedd lle y mae masnach yn fywiog a chwyrn. Ofer ydyw dysgwyl am lawer o lwyddiant ychwanegol mewn rhai cylchoedd, er enghraifft yn Sir Fynwy, gyda'r iaith Gymraeg. Dichon y sefydlir ambell i eglwys fechan eto, ond eglwysi bychain iawn fyddant yn rhwym o fod. A byddai yn deilwng o gyfarfod cyfan yn y Gymanfa Gyffredinol i ystyried pa fodd y gellir taflu nerth y Cyfundeb i ddylanwadu ar ardaloedd megys rhai Sir Fynwy, lle y mae yr iaith Saesoneg yn cymeryd meddiant o'r bobl, a'r achosion Cymraeg o angenrheidrwydd yn gwywo. Mae rhifedi yr eglwysi Saesoneg, yn ol ein hadroddiad eleni, yr un nifer ag yr oeddynt y llynedd, sef 158, ond y mae cynnydd yn yr aelodau o 470, ac yn y gwrandäwyr o 917, ac y mae yn deilwng o sylw mai oni b'ai am y cynnydd hwn yn y gwrandäwyr yn yr eglwysi Saesoneg y buasai lleihâd yn yr Ystadegau eleni o dan y pen hwn. Fe fuasai cynnydd hefyd yn rhif yr eglwysi oni b'ai i Sir Fynwy roddi tair eglwys fel eglwysi Saesoneg y llynedd, tra nad oeddent yn Saesoneg yn hollol, ac ni roddir hwynt y flwyddyn hon. Rhif yr aelodau yn yr eglwysi Saesoneg eleni yw 8186, a rhif y gwrandäwyr yw 27,597. Casglwyd yn yr eglwysi hyn at y Weinidogaeth £9295 11s. 11c., sef cynnydd o £342 0s. 5c. Cyfanswm eu casgliadau yw £22,096 14s. 8c.; cynnydd o £724 0s. 3c. Tyfu fel hyn mae yr achosion Seisonig, ond yn raddol, braidd yn rhy raddol, fel yr ydym yn tybied i ateb i gynnydd y boblogaeth Saesoneg. Gobeithio y byddwn fel pobl Issachar yn hyn yn deall ein hamseroedd, ac y cawn ras i ymgymhwyso ar gyfer yr amgylchiadau sydd yn ein hamgylchynu, yn enwedig mewn rhai ardaloedd. Y peth mawr ydyw llwyddiant y gwaith, bydded yr iaith un ai Cassiaeg, Llydawaeg, Cymraeg, Saesoneg, neu unrhyw iaith arall.

[Ceir yr ystadegau yn llawn yn Nghylchlythyr y Gymanfa.]

Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, ac eiliwyd gan y Parch. D. Morgan, Penllwyn, a phenderfynwyd, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn, diolchgarwch yn cael ei roddi i'r Ystadedwyr, a'u bod i barhâu yn eu swydd.

XXXVIII. Cynnygiwyd gan y Parch. C. T. Astley, M.A., Llandudno, ac eiliwyd gan Dr. Owen Thomas, a phenderfynwyd, fod yr Achosion Seisonig o hyn allan i gael sylw neillduol ymhob Cymanfa Gyffredinol; ac ymddiriedwyd y peth i ofal y ddau Ysgrifenydd.

XXXIX. Cynnygiwyd gan y Parch. John Pritchard, Birmingham, ac eiliwyd gan y Parch. W. Williams, Abertawe, a phenderfynwyd, ein bod yn dadgan ein teimlad yn gryf o blaid y symudiad sydd ar droed i ddileu masnach yr *opium*.

XL. *Y Pwyllgor er cael Cyfieithiad Diwygiedig o'r Ysgrythyrau.* Ar gynnygiad Mr. Thomas Jones Parry, ac eiliad y Parch. D. Phillips, Abertawe, penderfynwyd fod y Pwyllgor hwn i barhâu yn ei swydd.

XLI. *Y Pwyllgor Dirwestol.* Ar gynnygiad y Parch. John Rees Owen, ac eiliad y Parch. David Morgan, Penllwyn, penderfynwyd i dderbyn ac i gadarnhâu y penderfyniadau canlynol oddiwrth y pwyllgor hwn .—

Dymuna eich pwyllgor gynnyg y penderfyniadau canlynol i'r Gymanfa hon :—1. Fod y Gymanfa Gyffredinol yn llawenhâu fod y Cymdeithasfäoedd Chwarterol, a'r Cyfarfodydd Misol, a'r Henaduriaethau, wedi gwneyd cynlluniau rhagorol er gweithio gyda'r achos Dirwestol, ac yn eu hannog yn serchog i berffeithio eu mesurau, a'u gweithio allan yn

egniol heb unrhyw oediad afreidiol. 2. Fod pwyllgorau y Cymdeithasfäoedd yn cael eu cymhell i gydweithredu â phwyllgor y Gymanfa Gyffredinol. 3. Fod llwyddiant neillduol yr Achos Dirwestol, yn gymdeithasol a gwleidyddol, yn gymhelliad grymus i'n Cyfundeb i ddyblu ei ymdrechion o blaid Dirwest, a phob mesurau seneddol er gwaharddiad y Fasnach Feddwol. 4. Fod y Gymanfa hon yn mabwysiadu y Cofeb canlynol at y Llywodraeth o blaid Mesur Cau y Tafarnau ar y Sabboth yn Lloegr, a Dewisiad Lleol *(Local Option)*.

1. That the General Assembly of Calvinistic Methodists, representing upwards of 270,000 adherents, in Session assembled in Swansea, May 31st, 1883, respectfully memorialize Her Majesty's Government on behalf of Mr. Stephenson's Sunday Closing Bill for England, earnestly appealing to the Government to afford all possible facilities for the passing of the above Bill this Session; especially inasmuch as this Assembly witnesses with extreme satisfaction the salutary effects of the Welsh Sunday Closing Act. 2. That this Assembly, while heartily thanking the Government for nearly accepting Sir Wilfrid Lawson's Local Option Resolution, looks forward with eager and almost impatient expectation to the introduction of the Government Bill, based upon the said Resolution. Moreover, this Assembly begs to emphasize its honest conviction that such a Measure, in order to work efficiently and afford general satisfaction, must contain a provision affording the people a direct veto on the issue of licenses for the common sale of intoxicating drinks. 3. That copies of the above Resolutions, signed by the Moderator and Secretaries, be forwarded to the Prime Minister and the Home Secretary respectively.

Arwyddwyd gan aelodau eich Pwyllgor, MORRIS MORGAN, OWEN JONES.

XLII. Cynnygiwyd gan Mr. E. Bryan, Carmel, Treffynnon, ac eiliwyd gan y Parch. Daniel Morgan, Llandilo, a phenderfynwyd yn unfrydol, fod i'r Pwyllgor Dirwestol barhâu yr un y flwyddyn hon.

XLIII. Cynnygiwyd gan y Parch. Roger Edwards, eiliwyd gan y Parch. Dr. Hughes, ac attegwyd gan y Parch. Evan Phillips, a phenderfynwyd yn unfrydol—fod ein diolchgarwch mwyaf gwresog yn cael ei roddi i gyfeillion Abertawe am y derbyniad croesawgar a roddwyd i'r Gymanfa yma y flwyddyn hon.

XLIV. Cynnygiwyd gan y Parch. Daniel Morgan, Llandilo, ac eiliwyd gan y Parch. Evan Phillips, a phenderfynwyd, ein bod yn peri ein cofio yn garedig at y Parch. D. Saunders, yn awr ar ei daith yn America, ac yn dadgan ein gobaith a'n hyder y bydd iddo gael taith gysurus, a dychweliad adref yn ddiogel.

XLV. Ar gynnygiad Dr. Hughes, penderfynwyd yn unfrydol fod ymdriniaeth i gymeryd lle ar fater o athrawiaeth yn y Gymanfa Gyffredinol nesaf.

Darllenwyd a chadarnhäwyd y penderfyniadau uchod.

Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi gan y Parch. Dr. Hughes, Liverpool.

THOMAS LEVI, *Llywydd.*
JOSEPH EVANS, } *Ysgrifenyddion.*
D. LL. JONES, M.A., }

---

## CYMDEITHASFA YR WYDDGRUG.

MEHEFIN 13, 14, A'R 15FED, 1883.

LLYWYDD,—Y Parchedig J. WILLIAMS, Rhyl.

[Mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa hon ymgyfarfu *Cyfeisteddfod yr Achosion Seisonig* a *Chyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.*]

DYDD MERCHER, MEHEFIN 13EG.

*Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch y prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol, &c.

*Sir Fflint:*—Dewiswyd y personau canlynol yn aelodau o Bwyllgorau Cymdeithasfaol:—Y Parch. H. B. Williams, Wrexham (o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig), a Mr. R. J. Davies, Caerlleon (o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol).—GRIFFITH OWEN, *Ysg.*—Yn Nghyfarfod Misol y Dyffryn, Mehefin 4ydd a'r 5ed, penderfynwyd,—Ein bod yn dymuno ar y Gymdeithasfa i gymeryd mesurau yn ddioed i ad drefnu terfynau y Cyfarfodydd Misol.—H. BARROW WILLIAMS, *Ysgrifenydd am y tro.*

*Dwyrain Meirionydd:*—Yn Nghyfarfod Misol Tŷmawr, Mai 8, derbyniwyd adroddiad y cenadon a anfonasid i Benmachno; ac ar ol ystyriaeth ddifrifol a phwyllog, penderfynwyd yn unfrydol,—Nas gellid goddef Mr. Thos. Jones, Penmachno, i fod yn bregethwr.

III. Penderfynwyd cyflwyno enwau y Parch. H. B. Williams, Wrexham, a Mr. R. J. Davies, Caerlleon, i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa, y naill fel aelod o Gyfeisteddfod yr Achosion Seisonig, a'r llall fel aelod o Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol.

IV. Bu ymddyddan lled faith ar y genadwri o Sir Fflint yn dwyn perthynas âg ad-drefnu terfynau y Cyfarfodydd Misol. Ar gynnygiad y Parch. Edward Jerman, yr hwn a eiliwyd gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., penderfynwyd fod y mater a gynnwysa y genadwri yn cael ei gyflwyno i ystyriaeth y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, gyda dy-

[Pe]nderfyniad ar iddynt anfon eu barn arno i'r Gymdeithasfa, fel os ceir fod y teimlad yn lled gyffredinol o blaid cael ad-drefniad o'r fath, y gallo y Gymdeithasfa mewn amser dyfodol benodi pwyllgor i ystyried y mater.

V. Dygwyd i ystyriaeth y genadwri o Ddwyrain Meirionydd ynghylch Mr. Thos. Jones, yr hwn oedd bregethwr wedi ei dderbyn i'r Gymdeithasfa. Wedi eglurhâd ar ffeithiau yr achos gan un o'r cynnrychiolwyr dros Ddwyrain Meirionydd, penderfynwyd ein bod yn derbyn y genadwri gyda gofid dwys, ac yn teimlo na allwn dan yr amgylchiadau beidio cadarnhâu yr hyn a wnaed gan y brodyr yn Nwyrain Meirionydd.

VI. Hysbyswyd am gais a wnaed gan Ysgrifenydd cymdeithas sydd â'i hamcan i ddiddymu y fasnach mewn *opium*, ar i'r Gymdeithasfa gymeradwyo penderfyniad yn galw ar i'r Llywodraeth Brydeinig yn India beidio gorfodi Llywodraeth China i gymeryd *opium* genym. Gan fod penderfyniad i'r amcan hwn wedi ei gymeradwyo yn y Gymanfa Gyffredinol, lle yr oedd yr holl Gyfundeb yn y De ac yn y Gogledd yn cael ei gynnrychioli, bernid mai afreidiol oedd i ni wneyd ychwaneg gyda'r amcan hwn ar hyn o bryd.

VI. Yr oedd llythyr wedi ei anfon gan swyddogion yr eglwys yn Nassau Street, Llundain, yn dwyn perthynas â'r ddadl rhwng yr eglwys hono a Chyfarfod Misol Llundain o berthynas i eiddo perthynol i'r Cyfundeb. Cyn darllen y llythyr cafwyd eglurhâd gan Mr. T. Lewis, Bangor, paham na buasai ef wedi galw ynghyd y Pwyllgor a benodasai y Gymdeithasfa yn Llanfyllin i benderfynu y mater. Yn hytrach na darllen yr holl fanylion a gynnwysai y llythyr y cyfeiriwyd ato uchod, penderfynwyd ein bod yn dymuno i'r brodyr a benodwyd yn y Gymdeithasfa ddiweddaf fyned i fyny i Lundain yn ol y penderfyniad yn Llanfyllin.

VII. Darllenwyd llythyr a dderbyniasid oddiwrth eglwysi y Methodistiaid yn Patagonia yn atebiad i lythyr a anfonasid dros y Gymdeithasfa atynt hwy flwyddyn yn ol. Yr oedd fel y canlyn:—

Derwyddfa, Colonia Del Chubut,
Mawrth 7, 1883.

At Gymanfa Chwarterol y Methodistiaid Calfinaidd.

ANWYL FRODYR,—Gyda mawr lawenydd y derbyniasom eich llythyr caredig, a pharodd eich cydymdeimlad gonest â ni nerth a dyddanwch nid bychan. Nis gallwn ddesgrifio ein teimlad wrth feddwl nad ydym yn cael ein gadael yn anghof gan ein tadau a'n brodyr yn Nghrist. Bydd yn llawenydd genych ddeall, ac yn destun diolchgarwch i'r Duw sydd yn ein nerthu, fod achos yr Arglwydd Iesu yn dal ei dir a myned ar gynnydd yn y wlad bellenig hon. I ni fel enwad crefyddol, testun llawenhâu sydd genym, yn enwedig yn mhethau allanol yr achos. Cynnydd sydd i'w ganfod ar bob llaw yn y cyfeiriadau hyn. Mae ein trefn yn dyfod yn fwy cyson ac arosol; gweithgarwch, zêl, a chariad yn myned ar gynnydd. Yr ydym yn brysur yn adeiladu dau o gapeli hardd ac ëang, i gynnwys o 150 i 200 o wrandäwyr. Hefyd yr ydym yn adgyweirio un arall. Pan y bydd y llythyr hwn yn eich dwylaw, bydd enw yr Iesu yn cael ei gyhoeddi mewn manau na bu erioed o'r blaen. Yn ychwanegol bwriadwn ar fyrder gychwyn achos newydd yn uwch i fyny yn y sefydliad—lle sydd heddyw yn annhrigianol, ond a fydd o hyn i' ben y chwe' mis wedi ei boblogi gan ein cydgenedl. Ond er mor dda ydyw y wedd hon ar deyrnas Iesu Grist nid ydym heb achos gofid wrth feddwl am y wedd ysbrydol. Nid gofid digymysg, mae'n wir, eto digon i beri pryder dwys i ni. Anghen ymweliad grasol ein Tad nefol sydd arnom yn ddirfawr; mwy o brofiad o'r peth hwnw y mae y meddwl cnawdol yn methu a'i ddeall. Anwyl dadau, mwy o'r presennoldeb Dwyfol yn ymddysgleirio yn ei eglwys sydd ar eich meibion sydd yn dyfod yma ei eisieu. Ië, anwyl gyfeillion, mwy o'r awel ddystaw fain sydd arnom ni a'n plant ei eisieu; nerth anorchfygol yr efengyl. *Rhoddwch*, ïe, *rhoddwch* i ni eich cydymdeimlad yn y peth hwn. Gweddïwch drosom, anwyl frodyr, ar i ni deimlo yr hyn a deimlodd ein tadau, nes gorfoleddu a moliannu Duw am ei ras. Y gras hwn a fyddo yn eiddo i ni oll. Amen. Gorphwyswn, dros y frawdoliaeth, yn rhwymau cariad,

W. WILLIAMS, Gweinidog.
R. J. BERWYN, Diacon.

VIII. Darllenwyd yr adroddiadau a ddaethant i law am sefyllfa cofnodau y Cyfarfodydd Misol yn y gwahanol Siroedd. Yr oedd adroddiad wedi dyfod i law o'r holl Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, oddieithr Sir Fflint, Dwyrain Meirionydd, a Henaduriaeth Trefaldwyn. Gwelid oddiwrth yr adroddiadau hyn nad oedd cofnodau manwl ar gael yn un o'r Siroedd hyd oni ddeuid i gyfnod lled ddiweddar. Hysbysid fod llyfr o gryn henafiaeth, yn cynnwys rhai cofnodau o weithrediadau Cyfarfod Misol Môn, yn nghadw yn Llyfrgell Athrofa y Bala. Gyda'r eithriad o'r llyfr henafol hwn, y mae y cofnodau yn sefyll mewn trefn amseryddol fel y canlyn:—1. Cofnodau Gorllewin Meirionydd yn dechreu yn y flwyddyn 1840. 2. Sir Drefaldwyn, 1842. 3. Lleyn ac Eifionydd, 1843. 4. Môn, 1845. 5. Sir Ddinbych, 1848. 6. Dwy Ran Sir Drefaldwyn, 1855. 7. Liverpool, 1857. 8. Henaduriaeth Lancashire, er sefydliad yr Henaduriaeth. Nid oedd yr adroddiadau o Arfon a Manchester yn cynnwys mwy na hysbysrwydd fod ymdrech yn cael ei wneyd yn awr i gael hen

gofnodau yn feddiant y Cyfundeb, a bod gobaith y llwyddir yn fuan i'w cael.

Cynnygiwyd, eiliwyd, a chyttunwyd,—Fod diolchgarwch yn cael ei gyflwyno i Ysgrifenyddion y Cyfarfodydd Misol am yr adroddiadau dyddorol a gafwyd ganddynt am sefyllfa y cofnodau perthynol i'w Cyfarfodydd Misol, a'u bod yn annog yr Ysgrifenyddion eraill sydd heb anfon eu hadroddiadau i wneyd hyny eto, ac yn annog y Cyfarfodydd Misol i fyned ymlaen gyda'r gwaith y maent wedi dechreu arno, gyda'r amcan o sicrhâu Llyfrau Cofnodau am yr achos crefyddol yn ein plith, i fod yn feddiant i'r Cyfundeb.

Cynnaliwyd *Cyfarfod y Pregethwyr* nos Fercher, am hanner awr wedi chwech, pryd yr ymddyddanwyd am achosion aflwyddiant y Weinidogaeth.

Yr un amser cyfarfu Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yn yr hwn y gwnaed trefniadau pellach ynglŷn â'r cyfarfod ordeinio drannoeth, ac y darllenwyd papyr ar ysbryd a gwaith cenadol yn yr eglwysi.

### DYDD IAU, MEHEFIN 14EG.

*Parhâd o Gyfeisteddfod y Gymdeithasfa am 8 30 y bore.*

IX. Darllenwyd Adroddiad y Pwyllgor ar Ad-drefniad Cyfarfodydd y Gymdeithasfa, a chyflwynwyd ef i'r Cyfeisteddfod. Penderfynwyd fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn, ac i ddyfod dan ystyriaeth pellach yn Nghymdeithasfa Bangor. Yr oedd yr Adroddiad fel y canlyn :—

Yn unol â phenderfyniad y Gymdeithasfa a gynnaliwyd yn Rhyl, Rhagfyr 1882, fe gyfarfu y Pwyllgor a benodwyd yno er cymeryd i ystyriaeth y moddion goreu er ad-drefnu Cyfarfodydd y Gymdeithasfa, ac wedi cryn ymdrafodaeth cynnygir ganddynt y pethau canlynol :—1. Fod cyfarfod cyntaf y dydd cyntaf i fod, megys ag y mae yn bresennol, yn Gyfeisteddfod y Gymdeithasfa, ac i fod yn gynnwysedig yn unig o'r Cynnrychiolwyr a benoder gan y Cyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, ynghyd ag eraill o Aelodau y Gymdeithasfa ag y mae ganddynt yn ol y Rheolau sydd genym eisoes, hawl i fod yn bresennol ynddo; a bod y cyfarfod hwn, er mwyn sicrhâu amser digonol i'w weithrediadau, i ddechreu am un ar y gloch. 2. Mewn trefn i hyrwyddo gwaith y Cyfeisteddfod, fod Rhaglen, yn cynnwys y cenadwriaethau o'r amrywiol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, ac o'r pethau eraill y bwriedir eu dwyn i sylw y Gymdeithasfa, i'w hanfon gan yr Ysgrifenydd i holl aelodau y Cyfeisteddfod, chwe' diwrnod o flaen y Gymdeithasfa. 3. Fod y cyfarfod chwech ar y gloch y dydd cyntaf, fel y cyfarfodydd ddau ar y gloch yr ail ddydd ac wyth ar y gloch y trydydd dydd, i fod yn un o gyfarfodydd awdurdodedig y Gymdeithasfa, a rhyddid i'w holl aelodau i fod yn bresennol ynddo. 4. Fod y cyfarfod wyth ar y gloch y trydydd dydd i'w dreulio yn gwbl mewn ymdriniaeth âg un o athrawiaethau neillduol yr efengyl, neu ryw ran o grefydd ysbrydol neu ymarferol. 5. Gyda golwg ar yr hyn a gyflwynwyd i sylw y Pwyllgor gan Gymdeithasfa Llanfyllin,—cydolygwyd,—er mwyn sicrhâu, hyd ag y gallom, bresennoldeb brodyr o addfedrwydd gwybodaeth a phrofiad yn ein Cymdeithasfäoedd,—Fod Cynlywyddion y Gymdeithasfa wrth eu swydd yn aelodau o'r Cyfeisteddfod, ac yn meddu holl hawliau y cynnrychiolwyr; a bod annogaeth gref yn cael ei rhoddi iddynt i ymdrechu bod yn bresennol, hyd ag y byddo bosibl iddynt, yn ein holl Gymdeithasfäoedd.

X. Darllenwyd Adroddiad yr Athrofa yn y cyfeisteddfod hwn, a chafwyd trafodaeth ar ei gynnwysiad, am y rhagwelid y byddai yr amser yn brin i sefyll uwch ben yr holl adroddiadau o weithrediadau y Pwyllgorau yn Nghyfarfod y Gymdeithasfa am ddau o'r gloch. Ceir yr Adroddiad yn llawn yn hanes y cyfarfod dau o'r gloch, lle y derbyniwyd ac y cadarnhäwyd ef.

Cynnygiwyd gan Mr. Thomas Lewis, eiliwyd gan Mr. Thomas Lloyd, a phenderfynwyd fod yr athrawon i anfon adroddiad bob blwyddyn i'r Siroedd am *attendance* y gwŷr ieuainc yn y dosbarthiadau yn ystod tymmor yr Athrofa, yn ol penderfyniad a basiwyd i'r perwyl yma amser yn ol.

XI. Hysbyswyd am y llythyrau a dderbyniasid yn cydnabod yn ddiolchgar yr amlygiad o gydymdeimlad y Gymdeithasfa a brodyr â chwiorydd profedigaethus,—Y Parch. T. Francis, y Parch. W. O. Williams, a Mrs. T. F. Roberts.

*Cyfarfod Ordeinio, am 10 o'r gloch.*

Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddïo gan y Parch. Francis Jones

Darllenwyd enwau y brodyr oedd i'w hordeinio, a thystiwyd am reoleidd-dra eu dewisiad gan Mr. David Roberts. (Ar ol galw enwau y deg brodyr a ddysgwylid, gwelid nad oedd Mr. John Ceredydd Jones yn bresennol, ac mai naw brawd oedd i'w hordeinio.)

Darllenwyd y rhanau arferol o'r ysgrythyr gan y Parch. John Cynddylan Jones.

Traddodwyd yr Araeth ar Natur Eglwys gan y Parch. D. Lloyd Jones, M.A. Gofynwyd y cwestiynau arferol o'r Cyffes Ffydd gan y Parch. O. Thomas, D.D. Gofynwyd yr arwydd o gymeradwyaeth y Gymdeithasfa i'r brodyr gan y Cymedrolwr. Offrymwyd yr urdd-weddi gan y Parch. David Williams. Traddodwyd y Cynghor gan y Parch. T. C. Edwards, M.A. Terfynwyd trwy weddi gan y Parch. S. A. Frazer.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

I. Hysbyswyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Mangor, ar ddyddiau Mawrth, Mercher, a Iau, Awst 28, 29, a'r 30ain. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i gyfarfod am ddau o'r gloch prydnawn dydd Mawrth, yr 28ain.

II. Cadarnhäwyd penodiad y Parch. Hugh Barrow Williams yn aelod o Bwyllgor yr Achosion Seisonig.

III. Cadarnhäwyd penodiad Mr. R. J. Davies, Caerlleon, yn aelod o Bwyllgor y Genadaeth Gartrefol.

IV. Cadarnhäwyd y penderfyniad yn trefnu fod i'r mater o ad-drefnu terfynau y Cyfarfodydd Misol gael ei gyflwyno i ystyriaeth y Siroedd, er cael eu llais arno mewn Cymdeithasfa ddyfodol.

V. Penderfynwyd,—Ein bod fel Cymdeithasfa yn derbyn gyda gofid y genadwri o Ddwyrain Meirionydd o berthynas i Mr. Thomas Jones, Penmachno, ac yn teimlo nad oes genym dan yr amgylchiadau ddim i'w wneyd ond cadarnhâu yn hollol yr hyn a wnaeth y brodyr yn Nwyrain Meirionydd gyda golwg arno, a dadgan nad ydyw mwyach yn bregethwr yn ein plith.

VI. Darllenwyd Adroddiad Pwyllgor y Genadaeth Gartrefol gan y Parch. Robert Davies, Amwythig.

Ystyriwyd yn bwyllog y ceisiadau o'r gwahanol leoedd, a chaniatäwyd *grants* i'r lleoedd Cymreig a Saesonig.

Dymuna'r Cyfeisteddfod annog ar fod i bob eglwys ar faes y Genadaeth ofalu am wneuthur y casgliad at y Weinidogaeth yn wythnosol. Hefyd dymuna y Cyfeisteddfod alw sylw y Cenadon a'r eglwysi at y penderfyniad a basiwyd yn Nghymdeithasfa Mehefin y flwyddyn ddiweddaf, gyda golwg ar y dymunoldeb ar i'r Cenadon sydd mewn gorsafoedd cyfagos gyfnewid pulpudau â'u gilydd mor fynych ag y byddo modd.

Y mae sefyllfa arianol y Genadaeth ar ddiwedd y flwyddyn fel y canlyn :—

DERBYNIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Mewn llaw ddiwedd y flwyddyn | 818 | 4 | 9½ |
| Eto, y Gronfa Neillduol ........ | 818 | 0 | 8½ |
| Cyfanswm y Casgliadau ......... | 1668 | 16 | 5½ |
| Gweddill yn ol ewyllys y diweddar Mrs. Phillips, Gwrecsam, a'r diweddar Thomas Owens, Ysw., Treffynnon ............... | 554 | 2 | 4 |
| Mewn llaw o'r *Grants* i'r Castell ac i Pentremoch................. | 2 | 15 | 0 |
| Llôgau yn yr Ariandŷ ........... | 18 | 8 | 8 |

TALIADAU.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cenadon a Gorsafoedd ........ | 1410 | 15 | 0 |
| Am argraffu yr Adroddiad ... | 24 | 12 | 0 |
| Costau gwahanol eraill ......... | 65 | 0 | 6 |
| Yr Ysgrifenydd .................... | 40 | 0 | 0 |
| Mewn llaw ........................ | 1825 | 0 | 5½ |

Diolchwyd i'r Archwiliwr, Mr. Robert Jones, U.H., Pwllheli, am ei wasanaeth; a phenodwyd Mr. Edward Davies, U.H., Llandinam, a Mr. E. T. Jones, Dinbych, yn Archwilwyr am y flwyddyn ddyfodol.

Cynnygiwyd gan Mr. Thomas Lewis, Bangor, a chefnogwyd gan Mr. David Hughes, U.H., Liverpool, a phasiwyd yn unfrydol, fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu.

VII. Darllenwyd Adroddiad Pwyllgor yr Achosion Seisonig, gan y Parch. Lewis Ellis.

Cyttunwyd yn unfrydol fod yr Adroddiad yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu gan y Gymdeithasfa.

VIII. Penderfynwyd, — Fod diolchgarwch gwresog y Gymdeithasfa hon yn cael ei gyflwyno i Mr. Hudson, Bache Hall, gerllaw Caerlleon, am ei rodd haelionus o £50 at Drysorfa yr Achosion Seisonig y flwyddyn hon.

IX. Cyflwynwyd i'r Gymdeithasfa Adroddiad Pwyllgor Gweithiol yr Athrofa, yr hwn oedd fel y canlyn :—

LLYWYDD,—DAVID ROBERTS, YSW., TAN'R-ALLT.

1. Darllenwyd a chadarnhäwyd cofnodau Cyfeisteddfod y flwyddyn o'r blaen. 2. Oddiar yr ystyriaeth y byddai yn fwy manteisiol i'r Arholwyr, ac i'r rhai a fyddo yn ymgeiswyr am dderbyniad i'r Athrofa, penderfynwyd fod y *term* i derfynu bob blwyddyn y dydd Iau cyntaf o Mehefin. 3. Cafwyd Adroddiad gan Dr. Edwards a'r Athrawon eraill am ansawdd yr Athrofa, yn yr hwn y mynegent fod diwydrwydd corff y myfyrwyr yn cynnyddu flwyddyn ar ol blwyddyn, a bod y lle y maent yn ei ennill yn yr Arholiad eleni yn dangos na fu eu llafur yn ofer. Cymerir rhan ganddynt hefyd mewn gwaith Cenadol yn y dref, a derbynir hwy gyda pharch fel pregethwyr yn nghylch y Cyfarfod Misol hwn yn arbenig. Eto yr oedd yn rhaid addef fod ychydig nifer—ychydig iawn mewn cymhariaeth—yn parhâu i gael eu hanfon i'r Athrofa nad oeddynt yn dangos unrhyw gymhwysder i'r gwaith y maent wedi ymgymeryd âg ef; ac yr oedd yn ddyeithr eu bod erioed wedi cael caniatâd gan y Cyfarfodydd Misol yr oeddynt yn perthyn iddynt, i ddechreu pregethu, heb son am eu hanfon i'r Athrofa. Cyfeiriodd Dr. Edwards hefyd at y symudiad ynglŷn â chael Coleg newydd i Ogledd Cymru, ac y dylem ninnau ragddarparu gogyfer âg amgylchiadau dyfodol. 4. Ein bod yn dymuno ar yr Athrawon barotoi y Tystysgrifau y penderfynwyd arnynt y llynedd, i'w rhoddi i'r Efrydwyr ar eu hymadawiad â'r Athrofa. 5. Ein bod yn dymuno ar i'r Gymdeithasfa alw sylw neillduol yr amrywiol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau at y Tystysgrifau y penderfynwyd eu rhoddi i'r Efrydwyr ar eu hymadawiad â'r Athrofa, a bod ymofyniad i gael ei wneyd am bob un a fyddo yn ymadael, a fydd efe wedi derbyn tystysgrif felly; a dymunir yn arbenig ar fod y Dyst-

ysgrif a dderbynir gan y gŵr ieuanc yn cael ei chymeryd i ystyriaeth pan yn ymdrin â'i achos gyda golwg ar ganiatâd iddo fyned dan yr Arholiad Cymdeithasfäol, ynghyd a'r cwestiwn o'i neillduad i'r holl waith. 6. Derbyniwyd Adroddiad yr Arholwyr, yr hwn oedd fel y canlyn:—"Dygwyd y gwaith ymlaen yn y drefn arferol; a chafwyd ddarfod i'r oll o'r Efrydwyr, oddieithr lle yr oedd afiechyd yn lluddias, fyned i mewn i eisteddiadau ar yr amrywiol faterion perthynol i'w dosbarthiadau, ac iddynt dalu pob sylw dyladwy i'r cwestiynau a osodwyd iddynt. Mae genym y pleser o ddywedyd i ni gael mesur helaeth iawn o foddlonrwydd yn yr atebion a dderbyniasom oddiwrth y mwyafrif mawr o'r gwŷr ieuainc; a da genym gael dwyn tystiolaeth eto unwaith i effeithiolrwydd uchel yr addysg fanwl, ëang, ac amrywiol sydd yn parhâu i gael ei chyfranu gan yr hybarch Lywydd ynghyd a'r ddau athraw ymroddgar sydd yn cydlafurio âg ef mewn cydgordiad mor hyfryd. 7. Ein bod yn cyflwyno ein diolchgarwch i'r cyfeillion sydd wedi rhoddi llyfrau yn anrheg i'r Athrofa, ac yn arbenig i deulu y diweddar Barch. David Jones, Treborth, am gyfrol yn ei lawysgrifen ef ei hun, ar Ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau; i Edward Griffith, Ysw., Dolgellau, am amrywiol lyfrau, ac yn eu plith Cylchlythyrau Cymdeithasfa Chwarterol y Gogledd, o'r pryd y dechreuwyd eu hargraffu; Cylchlythyrau y Gymanfa Gyffredinol o'r dechreuad; copi o holl Adroddiad ein Cymdeithasau Cenadol — y Gartrefol (y Gogledd) a'r Dramor; a Geiriadur Lladin a Chymraeg Dr. Davies, o Fallwyd; ac hefyd, i Gymunweinyddwyr ewyllys y ddiweddar Mrs. Williams, Bodlondeb, Machynlleth, am ddarlun *(painting)* rhagorol o'r diweddar Barch. John Elias, yr hwn oedd wedi ei fwriadu ganddi ar ol ei dydd i'r Athrofa. 8. Galwyd sylw at yr anghenrheidrwydd o benodi Ymddiriedolwyr newyddion, at y rhai sydd yn aros, ar y Weithred am dir y Coleg, a chyflwynwyd yr enwau canlynol i'w cynnyg i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa,—Parchn. David Lloyd Jones, M.A., Llandinam; Richard Humphreys Morgan, M.A., Abermaw; Owen Lloyd Jones, Ysw., Gwredog, Môn; John Roberts, Ysw., A.S., Bryngwenallt; Edward Davies, Ysw., U.H., Llandinam; John Robert Davies, Ysw., U.H., Treborth Hall; Griffith Jones Roberts, Ysw., Trefarthen, Môn. 9. Fod i Mr. G. Dew, Llangefni, wneuthur y Weithred anghenrheidiol, yn cynnwys enwau yr Ymddiriedolwyr newyddion. 10. Darllenwyd Adroddiad y Cyfeisteddfod Lleol, a chydsyniwyd fod i'r awgrymiadau cyntaf ynddo gael eu cario allan yn ddioed mor ddidraul ag y byddo bosibl gydag effeithiolrwydd; a bod i'r Cyfeisteddfod Lleol ymgynghori â Charles Hughes, Ysw., gyda golwg ar y rhan arall, oedd yn cyfeirio at y *drainage.* 11. Cydsyniwyd i dalu amryw o fân filiau. 12. Fod i'r Ysgrifenydd edrych ar fod cyfrifon y blynyddoedd diweddaf yn cael eu codi i'r Llyfrau sydd wedi eu darparu iddynt. 13. Penodwyd y Parch. Lewis Ellis, a Mr. Owen Williams, Glan Clwyd, i archwilio yr holl gyfrifon, ac i edrych dros gynnwys y *Safe*, a hysbyswydd eu bod wedi cael cwbl foddlonrwydd yn y naill a'r llall. 14. Fod yr Athraw Cynnorthwyol i fod yn Llyfrgellydd. 15. Dadganwyd ein bod yn llawenhâu wrth weled Dr. Edwards wedi ei adferu i'w gynnefin iechyd, a'n bod yn gobeithio y bydd i'w oes gael ei hestyn flynyddoedd eto i fod yn ddefnyddiol yn ein mysg ac i'n cenedl yn gyffredinol. 16. Rhoddwyd ein diolchgarwch arferol i'r meddygon am eu gwasanaeth i'r Efrydwyr, yn ystod y flwyddyn diweddaf, fel cynt, yn rhad ac am ddim. 17. Dadganwyd ein diolchgarwch i'r Llywydd a'r Trysorydd—David Roberts, Ysw., A.S.,—am eu llafur mawr, a'u gwasanaeth gwerthfawr i'r Athrofa. 18. Dadganwyd diolchgarwch i'r Pwyllgor lleol am ei ffyddlondeb mawr yn gofalu am y sefydliad, a'n bod yn dymuno ar iddynt barhâu yn eu swydd a dangos yr un ffyddlondeb rhagllaw.

*List of Donors of Books, &c., to the C. M. College, Bala, from July* 1882—*June* 1883.—The Revs. Dr. Mitchell; J. Williams, Machynlleth; A. J. Parry, Swansea; Owen Owens, Liverpool; Griffith Ellis, M.A., Bootle; E. F. Jones, Llansantffraid Glan Conway; J. Davies, Nantyr; Messrs. R. J. Williams (Trebor Môn); E. M. Roberts, Edeyrn; R. Roberts, Ucheldre; J. Roberts, Denbigh; Evan Davies, Bala; D. Evans, Post Office, Bala; Edward Williams, Corwen; Roberts, Brynbrith, Corwen; A. Simner, London; E. Griffith, Dolgelley; Mrs. Cadwaladr Roberts, Rhydlydan; Mrs. A. Hughes, Llangollen; Miss Walker, Abbey Green, Chester; A. M. Jones, Plasyracre, Bala; The Council of U. C. W., Aberystwyth, The China Inland Mission Society, the Religious Tract Society, &c.

Mr. Harper of Barmouth kindly delivered a lecture on the work of the Palestine Exploration Society in the Hall of the College.

Penderfynwyd fod yr Adroddiad uchod yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu gan y Gymdeithasfa.

X. Ynglŷn âg Adroddiad Pwyllgor yr Athrofa, hysbyswyd yr hyn a ganlyn:—Cyflwynwyd eleni at wasanaeth yr Athrofa yr Ysgoloriaethau canlynol oddiwrth Mr. D. Roberts, Liverpool, £20; Mr. Wright, Bodffari (mewn ysgoloriaethau o £10 yr un), £50; Mr. Joseph H. Jones, Liverpool, £12; Dr. Edwards, £10; Cymunweinyddwyr y diweddar Mr. T. Jones, £20.

Penderfynwyd, Ein bod yn dadgan ein diolchgarwch i'r brodyr caredig hyn am feddwl am lwyddiant ein Hathrofa, ac yn dymuno cyflwyno eu hesiampl hwy i'n brodyr ag y mae yr Arglwydd yn eu bendithio â chyfran o ddâ y byd hwn, fel un dra theilwng o efelychiad.

XI. Cadarnhäwyd y penderfyniad gyda golwg ar Adroddiad y Pwyllgor ar Addrefnu Cyfarfodydd y Gymdeithasfa, sef ei fod i'w argraffu yn y *Cylchlythyr* a'i adael dan ystyriaeth hyd y Gymdeithasfa nesaf.

XII. Coffäwyd yn barchus a theimladol am y brodyr ymadawedig: y diweddar Barchedigion William Jones, Llanberis; William Herbert, Cysegr; a David Edwards, Glan'rafon. Rhoddwyd ar yr Ysgrifenydd ysgrifenu llythyrau o gydymdeimlad â'u teulnoedd.

XIII. Cafwyd Adroddiad cryno am ansawdd yr achos crefyddol yn Sir Fflint, gan Mr. Owen Williams, Bodffari. Cymerodd Mr. Williams yr achlysur i gywiro camgymeriad a lithrasai i ystadegau Sir Fflint a ddarllenasid yn y Gymanfa Gyffredinol. Yn lle lleihâd o dros 200 yn rhif yr aelodau eglwysig, ceir fod y cynnydd yn Sir Fflint dros 100 o aelodau.

### DYDD GWENER, MEHEFIN 15FED.

*Cyfarfod Pregethwyr a Blaenoriaid am wyth o'r gloch y bore.*

Cafwyd ymdriniaeth â'r mater o Eiriolaeth Crist.

WILLIAM WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

O.Y.—Y mater yr ymdrinir âg ef yn Nghyfarfod y Pregethwyr yn y Gymdeithasfa nesaf fydd "Y pwys o gyfaddasu ein gweinidogaeth i'r oes." A'r mater y traethir arno yn y cyfarfod wyth o'r gloch y dydd olaf fydd "Breniniaeth Crist."

### *Trefn y Pregethu.*

Nos Fercher, Mehefin 13eg, am 7 o'r gloch, yn nghapel y Methodistiaid, pregethodd y Parchn. W. Roberts, Llanrwst, a T. J. Wheldon, B.A., Blaenau Ffestiniog. Yr un pryd, yn nghapel y Cynnulleidfäwyr Seisonig, pregethodd, yn Saesoneg, y Parch. J. Cynddylan Jones, Caerdydd.

Dydd Iau, y prydnawn, pregethodd y Parchn. J. Williams, Dwyran, Môn, ac O. Evans, Bolton; ac am 6 ar y maes, y Parchn. T. C. Edwards, M.A., Aberystwyth, a Dr. Hughes, Liverpool; ac am hanner awr wedi saith, y Parch. T. C. Edwards, M.A., yn Saesoneg, yn y capel.

Dydd Gwener, am 6 yn y bore, pregethodd y Parchn. W. Jones, M.A., Four Crosses, a W. Jones, Trawsfynydd. O herwydd y tywydd gwlawog, nis gallesid bod ar y maes; a phregethodd am 10, yn Nghapel y Methodistiaid, y Parch. O. Thomas, D.D., ac yn nghapel yr Annibynwyr, y Parch. J. Cynddylan Jones. Am 2, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. E. Edwards, M.A., Bala, a H. Jones, Liverpool; ac yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. W. Jones, Trawsfynydd, a D. Lloyd Jones, M.A., Llandinam. Am 6, yn nghapel y Methodistiaid, y Parchn. D. Williams, Liverpool, a J. Cynddylan Jones; yn nghapel yr Annibynwyr, y Parchn. F. Jones, Waenfawr, a Dr. Thomas; ac yn nghapel y Cynnulleidfäwyr Seisonig, y Parch. H. Jones, Liverpool.

### ARHOLIAD ATHROFA Y BALA.

#### *Yr Arholiad Clasurol.*

ENGLISH ESSAY. Maximum 100.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | John Owen Jones | 98 |
| 2 | Robt. Williams, Carnarvon; R. W. Hughes | 96 |
| 8 | J. R. Jones; Hugh Ellis; David Hughes; T. C. Jones; D. Manuel | 93 |
| 4 | G. F. Jones | 91 |
| 5 | D. Hoskins | 90 |
| 6 | R. Davies, Garth; Robert Roberts; J. J. Owen | 88 |
| 7 | W. P. Williams; Edw. Hughes | 85 |
| 8 | E. V. Humphreys; H. O. Hughes | 83 |
| 9 | John Roberts, Bangor; Rob. Williams, Denbigh | 80 |
| 10 | T. M. Jones; O. P. Owen; W. O. Jones | 75 |
| 11 | O. Matthias | 73 |
| 12 | O. Jones, Arfon; H. R. Davies | 70 |
| 13 | Richard Thomas | 68 |
| 14 | Edw. Edwards; John Williams, Llangors; Robert Jones | 65 |
| 15 | David Edwards; John Owen, Anglesea | 60 |
| 16 | W. W. Davies, Arfon; John Roberts, Llanbedr; John Evans, Moelygarnedd | 57 |
| 17 | Robt. Williams, Prenteg | 55 |
| 18 | O. Lloyd Owen; J. Evans, Pennal; Wm. Williams | 50 |
| 19 | Robert Jones, Llanuwchllyn; J. E. Jones; Edward Joseph; D. Evans Jones | 45 |
| 20 | John Roberts | 40 |
| 21 | William Lloyd | 35 |
| 22 | W. P. Jones | 25 |

#### *Y Flwyddyn Gyntaf.*

ENGLISH. *Macaulay's Essays.* Maximum 200.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | O. Jones, Arfon | 168 |
| 2 | John Williams | 130 |
| 3 | J. E. Jones | 112 |
| 4 | W. W. Davies | 86 |
| 5 | O. P. Owen | 50 |
| 6 | W. P. Jones | 44 |

ENGLISH HISTORY. Maximum 90.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | John Williams, Llangoed | 75 |
| 2 | O. Jones, Arfon | 68 |
| 3 | O. P. Owen | 61 |
| 4 | W. W. Davies | 48 |
| 5 | John E. Jones | 39 |
| 6 | W. P. Jones | 7 |

LATIN GRAMMAR AND AUTHOR. Maximum 180.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | W. W. Davies | 144 |
| 2 | O. P. Owen | 143 |
| 3 | O. Jones, Arfon | 140 |
| 4 | John Williams | 128 |
| 5 | John E. Jones | 91 |

GREEK GRAMMAR AND PROSE. Maximum 180.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | W. W. Davies | 151 |
| 2 | Owen Jones | 116 |
| 3 | O. P. Owen | 96 |
| 4 | John Williams | 78 |
| 5 | J. E. Jones | 76 |

ALGEBRA. Maximum 130.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | W. W. Davies; John Williams | 88 |
| 2 | Owen Jones | 62 |
| 3 | O. P. Owen | 24 |
| 4 | J. E. Jones | 22 |

GEOMETRY. Maximum 130.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | W. W. Davies | 100 |
| 2 | J. E. Jones | 85 |
| 3 | Owen Jones | 80 |
| 4 | J. Williams | 71 |
| 5 | O. P. Owen | 51 |
| 6 | W. P. Jones | 22 |

TRAETHAWD SAESONEG—Gwel y rhestr gyffredinol.

#### *Yr Ail Flwyddyn.*

ENGLISH. *Macaulay's Essays.* Maximum 250.

| | | |
|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes; E. Edwards | 220 |
| 2 | Robert Jones | 210 |
| 3 | David Hughes | 198 |
| 4 | T. C. Jones | 183 |
| 5 | Richard Thomas | 181 |
| 6 | W. O. Jones | 166 |
| 7 | R. Williams, Dinbych | 165 |
| 8 | D. Edwards | 158 |
| 9 | T. M. Jones | 154 |
| 10 | J. Evans, Pennal | 143 |
| 11 | J. Evans, Moel y garnedd | 140 |
| 12 | J. Roberts, Llanbedr | 137 |
| 13 | J. J. Owen | 133 |
| 14 | D. E. Jones | 128 |
| 15 | O. Ll. Owen | 124 |
| 16 | William Lloyd | 107 |
| 17 | Edward Joseph | 106 |
| 18 | Robert Williams, Prenteg | 103 |
| 19 | D. Manuel | 101 |
| 20 | W. Williams | 94 |

**English History. Maximum 100.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | E. Edwards | 98 | 11 | J. Evans, Moel y garnedd | 68 |
| 2 | H. O. Hughes | 88 | 12 | J. Roberts, Llanbedr | 64 |
| 3 | D. Hughes | 82 | 13 | W. O. Jones | 61 |
| 4 | D. Edwards | 81 | 14 | T. M. Jones | 60 |
| 5 | T. C. Jones | 80 | 15 | William Williams | 59 |
| 6 | Robert Jones | 78 | 16 | R. Williams, Prenteg | 54 |
| 7 | R. Williams, Denbigh; William Lloyd | 77 | 17 | O. Ll. Owen | 51 |
| 8 | J. Evans, Pennal | 73 | 18 | D. E. Jones | 43 |
| 9 | Richard Thomas | 70 | 19 | Edward Joseph | 40 |
| 10 | J. J. Owen | 69 | 20 | D. Manuel | 15 |

**Latin Grammar and Prose Composition. Maximum 100.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | E. Edwards | 99 | 8 | J. Roberts, Llanbedr | 74 |
| 2 | J. Evans, Moel y garnedd; D. Hughes | 95 | 9 | William Lloyd | 72 |
| | | | 10 | W. O. Jones | 67 |
| 3 | H. O. Hughes; R. Jones; D. Manuel | 92 | 11 | J. Evans, Pennal | 65 |
| | | | 12 | R. Williams, Prenteg | 58 |
| 4 | R. Williams, Denbigh | 88 | 13 | D. E. Jones; T. M. Jones | 52 |
| 5 | D. Edwards | 85 | 14 | Richard Thomas | 43 |
| 6 | T. C. Jones | 79 | 15 | Edward Joseph | 34 |
| 7 | J. J. Owen | 78 | | | |

**Latin Authors. Maximum 120**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | E. Edwards | 120 | 10 | J. Evans, Pennal | 77 |
| 2 | H. O. Hughes | 109 | 11 | R. Williams, Prenteg; J. Roberts, Llanbedr | 74 |
| 3 | D. Hughes | 103 | | | |
| 4 | Robert Jones | 101 | | | |
| 5 | R. Williams, Denbigh | 91 | 12 | T. M. Jones | 72 |
| 6 | J. Evans, Moel y garnedd; T. C. Jones | 89 | 13 | W. O. Jones | 70 |
| | | | 14 | D. E. Jones | 65 |
| | | | 15 | Richard Thomas | 62 |
| 7 | D. Manuel | 87 | 16 | O. Ll. Owen | 59 |
| 8 | J. J. Owen | 83 | 17 | William Lloyd | 58 |
| 9 | D. Edwards | 82 | 18 | Edward Joseph | 47 |

**Greek Authors. Maximum 120.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 114 | 10 | J. J. Owen | 74 |
| 2 | E. Edwards | 107 | 11 | J. Evans, Moel y garnedd | 72 |
| 3 | D. Hughes | 106 | 12 | T. M. Jones | 68 |
| 4 | R. Jones | 100 | 13 | W. O. Jones | 63 |
| 5 | R. Williams, Den. | 95 | 14 | Richard Thomas | 60 |
| 6 | T. C. Jones | 83 | 15 | D. E. Jones | 57 |
| 7 | D. Manuel; D. Edwards | 77 | 16 | William Lloyd | 52 |
| 8 | J. Roberts, Llanbedr | 76 | 17 | R. Williams, Prenteg | 26 |
| 9 | J. Evans, Pennal; O. Ll. Owen | 75 | 18 | E. Joseph | 16 |

**Greek Grammar and Prose. Maximum 100.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 96 | 9 | R. Williams, Prenteg | 51 |
| 2 | E. Edwards | 92 | 10 | J. J. Owen; W. O. Jones; D. Edwards; J. Roberts Llanbedr | 47 |
| 3 | R. Jones | 86 | | | |
| 4 | R. Williams, Denbigh; T. C. Jones | 85 | | | |
| 5 | D. Hughes | 70 | 11 | Richard Thomas | 45 |
| 6 | J. Evans, Moel y garnedd | 66 | 12 | J. Evans, Pennal | 41 |
| 7 | D. Manuel | 65 | 13 | T. M. Jones | 35 |
| 8 | O. Ll. Owen | 61 | 14 | D. E Jones | 31 |
| | | | 15 | William Lloyd | 27 |

**Algebra: Maximum 160.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | 152 | 11 | R. Williams, Prenteg; J. J. Owen | 68 |
| 2 | D. Hughes | 143 | | | |
| 3 | E Edwards | 142 | | | |
| 4 | Robert Jones | 133 | 12 | D. E. Jones | 66 |
| 5 | D. Manuel | 118 | 13 | J. Evans, Pennal | 60 |
| 6 | W. O. Jones | 112 | 14 | Richard Thomas | 55 |
| 7 | T. C. Jones | 92 | 15 | William Lloyd | 45 |
| 8 | R. Williams, Denbigh | 75 | 16 | J. Evans, Moelyg. | 44 |
| | | | 17 | T. M. Jones | 40 |
| 9 | D. Edwards | 73 | 18 | E. Joseph | 35 |
| 10 | O. Ll. Owen | 69 | 19 | J. Roberts | 30 |

**Geometry and Trigonometry. Maximum**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | R Jones | 144 | 12 | J. Roberts, Llanbedr | |
| 2 | H O. Hughes | 143 | 13 | Richard Thomas | |
| 3 | E. Edwards | 119 | 14 | R. Williams, Prenteg | |
| 4 | D. Hughes | 110 | | | |
| 5 | W. O. Jones | 105 | | | |
| 6 | T. C Jones | 95 | 15 | William Lloyd | |
| 7 | J. J. Owen | 94 | 16 | D. E. Jones | |
| 8 | D. Manuel | 87 | 17 | D. Edwards | |
| 9 | R Williams, Denbigh | 80 | 18 | T. M. Jones | |
| | | | 19 | E. Joseph | |
| 10 | J. Edwards | 79 | 20 | J. Evans | |
| 11 | O Ll. Owen | 62 | | | |

**Traethawd Saesoneg.** Gwel y Rhestr Gyfredinol.

## *Y Drydedd Flwyddyn.*

**English.** *Burke.* **Maximum 300.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones | 262 | 7 | O. Mathias | 21 |
| 2 | Hugh Ellis | 254 | 8 | D. Hoskins | 21 |
| 3 | R. Williams, Carnarvon | 243 | 9 | W. Ph Williams | 19 |
| 4 | E. V. Humphreys | 241 | 10 | R. Davies | 18 |
| 5 | J. Owen, Anglesey | 240 | 11 | Edward Hughes | 10 |
| 6 | R. W. Hughes | 226 | 12 | J. Roberts | 8 |

**Latin Grammar and Composition. Max. 120.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones | 111 | 7 | O. Mathias | 76 |
| 2 | Hugh Ellis | 93 | 8 | E. Hughes | 75 |
| 3 | R W. Hughes | 88 | 9 | J. Owen | 74 |
| 4 | E. V. Humphreys | 85 | 10 | W. P. Williams | 72 |
| 5 | R Williams | 80 | 11 | D. Hoskins | 67 |
| 6 | R. Davies | 77 | | | |

**Latin Author. Maximum 160.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones | 143 | 6 | J. Owen; W. P. Williams | 115 |
| 2 | H. Ellis | 138 | 7 | R. W. Hughes | 113 |
| 3 | E. V. Humphreys | 136 | 8 | O. Mathias | 109 |
| 4 | R. Williams | 129 | 9 | E. Hughes | 97 |
| 5 | R. Davies | 118 | 10 | D. Hoskins | 78 |

**Greek Prose. Maximum 100.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones | 97 | 6 | R. Williams; D. Hoskins | 70 |
| 2 | Hugh Ellis | 90 | | | |
| 3 | R. W. Hughes | 77 | 7 | W. P. Williams; R. Davies | 52 |
| 4 | E. Hughes | 76 | | | |
| 5 | J. Owen | 74 | 8 | O. Mathias | 48 |
| | | | 9 | E. V. Humphreys | 45 |

**Greek Authors. Maximum 200.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones | 192 | 6 | R. Williams; E. Hughes | 132 |
| 2 | R. W Hughes | 157 | | | |
| 3 | E. V. Humphreys | 154 | 7 | Hugh Ellis | 127 |
| 4 | R. Davies | 145 | 8 | D. Hoskins | 120 |
| 5 | W. P. Williams; J. Owen | 137 | 9 | O. Mathias | 118 |

**Algebra. Maximum 160.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. O. Jones; R. Williams | 160 | 5 | O. Mathias; W. P. Williams | 99 |
| 2 | Hugh Ellis | 158 | 6 | J. Owen | 94 |
| 3 | D. Hoskins | 106 | 7 | R. Davies | 79 |
| 4 | E. V. Humphreys | 102 | 8 | R. W. Hughes | 77 |
| | | | 9 | E. Hughes | 60 |

**Geometry and Trigonometry. Max. 160.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | Robert Williams | 156 | 7 | E. V. Humphreys | 89 |
| 2 | J. O. Jones | 146 | 8 | W. P. Williams | 82 |
| 3 | Hugh Ellis | 135 | 9 | R. Davies | 73 |
| 4 | J. Owen | 107 | 10 | O. Mathias | 66 |
| 5 | D. Hoskins | 97 | 11 | E. Hughes | 51 |
| 6 | R. W. Hughes | 91 | | | |

**Mental Philosophy. Maximum 100.**

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | E. V. Humphreys | 92 | 5 | O. Mathias | 65 |
| 2 | J. O. Jones | 90 | 6 | W. P. Williams | 62 |
| 3 | J. Owen | 83 | 7 | D. Hoskins | 47 |
| 4 | R. Williams; Hugh Ellis | 82 | | | |

**Traethawd Saesoneg.** Gwel y Rhestr Gyffredinol.

## *Y Bedwaredd Flwyddyn.*

**English.** *Burke.* **Maximum 300.**

J. Roberts, Bangor 287
J. R. Jones ...... 285
{G. F. Jones .. / H. R. Davies..} 221
4 Robert Roberts .. 178
5 Robt. Jones, Llanuwchllyn ...... 136

**Greek Authors. Maximum 200**

J. Roberts .............. 165
H. R. Davies .............. 136
J. R. Jones .............. 130

**Greek Prose. Maximum 100.**

J. Roberts ........ 75
H. R. Davies ...... 71
3 J. R. Jones ........ 65
4 G. F. Jones ........ 15

**Latin Grammar and Composition. Max. 120**

H. R. Davies ...... 77
J. R. Jones ........ 70
3 {G. F. Jones .... / J. Roberts ....} 61

**Latin Author. Maximum 160.**

{John Roberts. / H. R. Davies..} 109
2 J. R. Jones ...... 102
3 G. F. Jones ...... 40

**Algebra. Maximum 170.**

H. R. Davies .... 105
J. R. Jones ...... 96
3 J. Roberts ........ 71
4 G. F. Jones ...... 32

**Trigonometry. Maximum 170.**

Robert Jones, Llanuwchllyn ...... 90
J. R. Jones ........ 78
R. Roberts ........ 65
4 H. R. Davies ...... 51
5 G. F. Jones ........ 46
6 J. Roberts ........ 44

**Traethawd Saesoneg.** Gwel y Rhestr Gyffredinol.

## *Yr Arholiad Duwinyddol.*

**Jonathan Edwards on the Freedom of the Will. Maximum 200.**

| Name | Blwyddyn | Marks |
|---|---|---|
| H. O. Hughes | .. 2il flwyddyn | |
| R. Roberts | .. 4edd " | 190 |
| Robt. Williams, Carnarvon | 3edd " | |
| J. O. Jones | .. 3edd " | |
| D. Hoskins | .. 3edd " | 176 |
| R. W. Hughes | .. 3edd " | |
| D. Manuel | .. 2il " | |
| R. Davies | .. 3edd " | |
| Hugh Ellis | .. 3edd " | |
| David Hughes | .. 2il " | |
| J. R. Jones | .. 4edd " | 170 |
| John Owen, Anglesea | .. 3edd " | |
| O. Lloyd Owen | .. 2il " | |
| John Roberts, Bangor | .. 4edd " | |
| John Thomas | .. 3edd " | |
| H. R. Davies | .. 4edd " | |
| E. V. Humphreys | .. 3edd " | 160 |
| J. J. Owen | .. 2il " | |
| Richard Thomas | .. 2il " | |
| W. W. Davies | .. 1af " | |
| D. Edwards | .. 2il " | |
| William Lloyd | .. 3edd " | 150 |
| O. Mathias | .. 3edd " | |
| Evan Stephens | .. 3edd " | |
| W. Ph. Williams | .. 3edd " | |
| Owen Jones | .. 1af " | |
| Thomas Morris Jones | .. 2il " | 140 |
| John Roberts, Llanbedr | .. 2il " | |
| Edward Hughes | .. 3edd " | |
| R. Jones | .. 2il " | 130 |
| O. Parry Owens | .. 1af " | |
| Edward Edwards | .. 2il " | |
| Griffith F. Jones | .. 4edd " | |
| T. C. Jones | .. 2il " | 120 |
| Robert Williams, Denbigh | 2il " | |
| Robert Williams, Prenteg | 2il " | |
| John Evans, Moelgarnedd | 2il " | |
| John Evans, Pennal | .. 2il " | |
| Daniel Evans Jones | .. 2il " | |
| J. E. Jones | .. 1af " | 110 |
| W. O. Jones | .. 2il " | |
| John Williams | .. 1af " | |
| W. Williams | .. 2il " | |
| Edward Joseph | .. 2il " | 90 |
| W. P. Jones | .. 1af " | 80 |

**The Epistle to the Galatians. Max. 200.**

| | Name | Blwyddyn | Marks |
|---|---|---|---|
| 1 | David Hughes | .. 2il flwyddyn | 166 |
| | R. Roberts | .. 4edd " | |
| | Griffith F. Jones | .. 4edd " | |
| 2 | J. Owen Jones | .. 3edd " | 158 |
| | O. Mathias | .. 3edd " | |
| | R. Williams, Carnarvon | .. 3edd " | |
| 3 | Edward Hughes | .. 3edd " | |
| | D. Edwards | .. 2il " | 154 |
| | Hugh Ellis | .. 3edd " | |
| 4 | H. O. Hughes | .. 2il " | |
| | W. O. Jones | .. 2il " | 150 |
| | John Roberts, Bangor | .. 4edd " | |
| 5 | R. W. Hughes | .. 3edd " | 146 |
| | Owen Jones | .. 1af " | |
| | John Owen, Anglesea | .. 3edd " | |
| 6 | John Thomas | .. 3edd " | 138 |
| | W. Williams | .. 2il " | |
| 7 | William Lloyd | .. 2il " | 134 |
| | H. R. Davies | .. 4edd " | |
| | Edward Joseph | .. 2il " | |
| | O. Lloyd Owen | .. 2il " | |
| 8 | D. Manuel | .. 2il " | 130 |
| | Evan Stephens | .. 3edd " | |
| | R. Williams, Denbigh | .. 2il " | |
| | W. Ph. Williams | .. 3edd " | |
| | R. Davies | .. 3edd " | |
| | Edward Edwards | .. 2il " | |
| | D. Hoskins | .. 3edd " | |
| 9 | J. R. Jones | .. 4edd " | 124 |
| | R. Jones | .. 2il " | |
| | J. J. Owen | .. 2il " | |
| | John Evans, Pennal | .. 2il " | |
| | E. V. Humphreys | .. 3edd " | |
| | Daniel Evans Jones | .. 2il " | |
| 10 | O. Parry Owen | .. 1af " | 114 |
| | John Roberts, Llanbedr | .. 2il " | |
| | Richard Thomas | .. 2il " | |
| | John Evans, Moelgarnedd | 2il " | |
| | T. C. Jones | .. 2il " | |
| 11 | Thomas Morris Jones | .. 2il " | 100 |
| | John Williams | .. 1af " | |
| | Robert Williams, Prenteg | 2il " | |
| 12 | W. W. Davies | .. 1af " | 90 |
| 13 | J. E. Jones | .. 1af " | 82 |
| 14 | W. P. Jones | .. 1af " | 78 |

**Y ddau bapyr duwinyddol gyda'u gilydd.**

**Maximum 400.**

| | Name | Blwyddyn | Marks |
|---|---|---|---|
| 1 | R. Roberts | .. 4edd flwyddyn | 356 |
| 2 | R. Williams, Carnarvon. | 3edd " | 348 |
| 3 | H. O. Hughes | .. 2il " | 340 |
| 4 | David Hughes | .. 2il " | 336 |
| 5 | J. Owen Jones | .. 3edd " | 334 |
| 6 | R. W. Hughes | .. 3edd " | 322 |
| 7 | Hugh Ellis | .. 3edd " | 320 |
| | John Roberts, Bangor. | 4edd " | |
| | John Owen, Anglesey | .. 3edd " | |
| 8 | O. Mathias | .. 3edd " | 308 |
| | John Thomas | .. 3edd " | |
| 9 | D. Manuel | .. 2il " | 306 |
| | D. Edwards | .. 2il " | |
| 10 | D. Hoskins | ... 3edd " | 300 |
| | O. Lloyd Owen | .. 2il " | |
| 11 | R. Davies | .. 3edd " | 294 |
| | J. R. Jones | .. 4edd " | |
| 12 | H. R. Davies | .. 4edd " | 290 |
| 13 | Owen Jones | .. 1af " | 286 |
| | Edward Hughes | .. 3edd " | |
| 14 | William Lloyd | .. 2il " | 284 |
| | J. J. Owen | .. 2il " | |
| 15 | Evan Stephens | .. 3edd " | 280 |
| | W. Ph. Williams | .. 3edd " | |
| 16 | Griffith F. Jones | .. 4edd " | 278 |
| 17 | E. V. Humphreys | .. 3edd " | 274 |
| | Richard Thomas | .. 2il " | |
| 18 | W. O. Jones | .. 2il " | 260 |
| 19 | R. Jones | .. 2il " | 254 |
| | John Roberts, Llanbedr | 2il " | |
| 20 | R. Williams, Denbigh | .. 2il " | 250 |
| 21 | W. Williams | .. 2il " | 248 |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| 22 | Edward Edwards | .. 2il | flwyddyn | 244 |
| | O Parry Owen | .. 1af | " | |
| 23 | W. W. Davies | .. 1af | " | 240 |
| | Thomas Morris Jones | 2il | " | |
| 24 | John Evans, Pennal | .. 2il | " | 224 |
| | Daniel Evans Jones | .. 2il | " | |
| 2 | T. C. Jones | .. 2il | " | 220 |
| | Edward Joseph | .. 2il | " | |
| | R. Williams, Prenteg | .. 2il | " | |
| 26 | J. Evans, Moelgarnedd | 2il | " | 210 |
| | John Williams | .. 1af | " | |
| 27 | J. H. Jones | .. 1af | " | 192 |
| 28 | W. P. Jones | .. 1af | " | 158 |

Y mae yn briodol i ni hysbysu fod marciau wedi eu tynu oddiwrth gyfanswm rhai o'r myfyrwyr, oblegid absennoldeb o'r dosbarthiadau yn ystod y tymmor. Fel y canlyn y saif y gwahanol ddosbarthiadau, ar ol rhoddi yr Arholiad Clasurol a'r Arholiad Duwinyddol at eu gilydd, a thynu y marciau am absennoldeb y cyfeiriwyd attynt:—

Y FLWYDDYN GYNTAF. Maximum 1410.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | O. Jones, Arfon | ..984 | 4 | O. P. Owen | . 739 |
| 2 | W. W. Davies | ..901 | 5 | J. H. Jones .. | ..654 |
| 3 | John Williams, Llangoed .. | ..840 | 6 | W. P. Jones .. | ..256 |

YR AIL FLWYDDYN. Maximum 1610.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | H. O. Hughes | ..1487 | 12 | John Roberts, Llanbedr | ..861 |
| 2 | David Hughes | ..1336 | 13 | D. Evans Jones | ..851 |
| 3 | Edw. Edwards | ..1306 | 14 | J. Evans, Moel y garnedd .. | ..834 |
| 4 | Robert Jones | ..1261 | 15 | T. M. Jones | ..816 |
| 5 | T. C. Jones | ..1079 | 16 | O. Lloyd Owen | ..812 |
| 6 | R. Williams, Denbigh | ..1069 | 17 | J. Evans, Pennal | 796 |
| 7 | D. Manuel.. | ..1019 | 18 | William Lloyd | ..790 |
| 8 | D. Edwards | .. 995 | 19 | R. Williams, Prenteg .. .. | ..747 |
| 9 | W. O. Jones | .. 994 | 20 | Edward Joseph | ..551 |
| 10 | J. J. Owen | .. 982 | 21 | Wm. Williams | ....449 |
| 11 | Richard Thomas | 895 | | | |

Y DRYDEDD FLWYDDYN. Maximum 1800.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | John Owen Jones | 1633 | 6 | R. W. Hughes | ..1248 |
| 2 | R. Williams, Carnarvon | ........1488 | 7 | O. Mathias | ....1181 |
| 3 | Hugh Ellis | ......1484 | 8 | D. Hoskins | ....1181 |
| 4 | E. V. Humphreys | 1299 | 9 | W. Ph. Williams | 1172 |
| 5 | John Owen, Anglesea | ........1289 | 10 | R. Davies | ......1098 |
| | | | 11 | Edward Hughes. | 950 |
| | | | 12 | John Roberts .. | 125 |

Y BEDWAREDD FLWYDDYN. Maximum 1720.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1 | J. R. Jones | ......1168 | 4 | Griffith F. Jones | ..734 |
| 2 | John Roberts, Bangor | ........1155 | 5 | Robert Roberts | ..687 |
| 3 | H. R. Davies | ....1130 | 6 | Robert Jones, Llanuwchllyn | ..271 |

Fel arferol, dygwyd rhan fechan o Arholiad yr Athrofa ymlaen ddiwedd y flwyddyn; ond yr oedd y rhan fwyaf o lawer o hono yn cymeryd lle tua diwedd mis Mai, sef o'r 21ain hyd y 26ain. Cafwyd un eisteddiad o dair awr ar ddydd Llun yr 21ain, ac un ar y 26ain, a dau eisteddiad o dair awr bob un ar y dyddiau eraill rhwng y ddau a nodwyd.

Ar hyd yr wythnos ddilynol buwyd yn darllen ac yn mantoli atebion y myfyrwyr; a dydd Iau, Mehefin 7, am 11 yn y boreu, cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn neuadd yr Athrofa i hysbysu safleoedd y myfyrwyr yn y gwahanol gangenau, ac i wobrwyo y rhai llwyddiannus. Yn y cyfarfod hwn llywyddid yn fedrus gan D. Roberts, Ysw., U.H., Liverpool. Anerchwyd y myfyrwyr yn hyawdl o ddifrifol a phwrpasol gan eu hybarch Brifathraw, Dr. Edwards; a chafwyd anerchiadau da hefyd gan aelodau eraill o Gyfeisteddfod yr Athrofa.

Rhanwyd y gwobrwyon canlynol i'r myfyrwyr a safent uchaf ymhob blwyddyn:—

*Y Flwyddyn Gyntaf:* £7 yr un i'r pedwar a safent uchaf ar y rhestr.

*Yr Ail Flwyddyn:* £7 yr un i'r saith cyntaf, a £5 yr un i'r pump nesaf atynt.

*Y Drydedd Flwyddyn:* £10 yr un i'r saith cyntaf, a £5 yr un i'r pedwar nesaf.

*Y Bedwaredd Flwyddyn:* £10 yr un i Mri. J. Roberts, Bangor, a H. R. Davies, a £7 yr un i Mri. Robert Roberts a Robert Jones, Llanuwchllyn.

Yr oedd y gwobrwyon hyn yn rhai a renid o Gronfa yr Athrofa, ac a roddid yn unig i'r myfyrwyr hyny oeddynt yn bregethwyr. Yn ychwanegol at y rhai uchod, pa fodd bynag, trwy garedigrwydd cyfeillion ac ewyllyswyr da yr Athrofa, galluogwyd y Cyfeisteddfod, fel mewn blynyddoedd o'r blaen, i ranu gwobrwyon uchel eraill i'r myfyrwyr goreu. Ac yr oedd y gwobrwyon hyn yn agored i'r holl fyfyrwyr, pa un bynag a oeddynt yn bregethwyr ai peidio. A ganlyn sydd restr o'r gwobrwyon neillduol hyn:—

Robert Jones, £20 (sef £10 o *Scholarship* Mr. Wright, a £10 gan Dr. Edwards).

J. Owen Jones, £20 (*Roberts' Scholarship*).

H. O. Hughes £12 (sef £10 Mr. Wright, a £2 gan Gymunweinyddwyr y diweddar Mr. T. Jones).

Robert Williams, Caernarfon, £12 (sef £10 Mr. Wright,* a £2 Mr. T. Jones).

David Hughes, £10 (Mr. Wright).

Hugh Ellis, £10 (Mr. Wright).

Edward Edwards, £8 (Mr. T. Jones).

Mr. J. R. Jones, £8 (Mr. T. Tones).

Mr. Owen Jones £7 (*Committee*).

Mr. W. W. Davies, £5 (*Committee*).

Edward Edwards, £10 (*Welsh Scholarship*, given by Mr. J. Harrison Jones, Liverpool).

D. D. Williams, £20 (*Charles' Scholarship*).

Lluddiwyd Mri. Robert Jones, Llanuwchllyn, John Edwards, W. P. Jones, J. Roberts, Prion, a Robert Roberts gan afiechyd i sefyll ond y rhan o'r arholiad a gynnaliwyd ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, pryd y rhoddwyd papyrau mewn Saesoneg, *Geometry*, *Trigonometry*, a *Conic Sections*. Cymerwyd Mr. John Evans, Moelygarnedd, yn glaf ychydig o amser cyn yr arholiad, yr hyn a fu yn rhwystr mawr iddo ymbarotoi ar ei chyfer; ac aeth Mr. D. Manuel yn glaf yn ystod un eisteddiad, a methodd, oblegid gwendid, ddyfod i'r eisteddiad olaf.

Llawen genym allu tystiolaethu yn groew a chadarn fod atebion bron yr oll o'r myfyrwyr yn dangos llafur mawr a medr da yn y gwŷr ieuainc, ac yn profi yn amlwg fod gofal a thrafferth neillduol wedi ei gymeryd gyda hwynt gan eu hathrawon. Mae y fath beth yn bosibl â *chramio* yr awduron Groeg a Lladin fel ag i lwyddo i wneyd papyr gweddol dda; ond anmhosibl yw *cramio* gramadeg: rhaid ei ddysgu; ac nid oes dim ond diwyd.

* Yr oedd Mr. Wright wedi penderfynu ymlaen llaw fod yr ysgoloriaeth o £50 i gael ei rhanu yn symiau o £10 y tro hwn.

rwydd cydwybodol a rydd fedr i neb gyfieithu yn gywir o'r Saesoneg i'r ieithoedd hyn. Fe welir oddiwrth y rhestrau fod y myfyrwyr wedi ennill marciau da yn yr awduron Groeg a Lladin; a hyfryd yw genym ganfod eu bod cystal â hyny yn y Gramadeg a'r *Prose Composition*. Ychydig yw nifer y rhai a syrthiasant yn fyr o gyrhaeddyd at hanner y safon yn y pynciau yma. Yn sefyllfa bresennol addysg yn Nghymru teimlwn, ar ol darllen trwy atebion y myfyrwyr, fod yn annichonadwy cael unrhyw sefydliad i gyfranu gwell a rhagorach addysg nag a roddir yn Athrofa y Bala. Nid llawer o'r rhai a ddaethant yno a gafodd fanteision da yn flaenorol; ond os gwnant y defnydd goreu o'u hamser a'r cyfleusderau a estynir iddynt, gallant droi allan oddiyno yn barod i gychwyn gyrfa lwyddiannus a llewyrchus yn y Prifysgolion.

Yr hyn a'n tarawai yn fwyaf neillduol, fel prif ragoriaeth y rhai a safent uchaf yn eu dosbarthiadau oedd, nid yn unig cywirdeb yr atebion, ond yn enwedig eu llawnder a'u trylwyrder. Dyma, yn sicr, ddiffyg pwysig myfyrwyr yn gyffredinol: nid anwybodaeth hollol, ond amddifadrwydd o wybodaeth gyflawn. Buasai amryw hefyd yn sefyll yn uwch oni bae eu bod wedi treulio yr holl amser i ateb rhai cwestiynau yn llawer mwy manwl nag oedd yn angenrheidiol, gan adael gofyniadau eraill heb eu cyffwrdd. Dangosai dosbarth y drydedd flwyddyn ragoriaeth arbenig mewn Athroniaeth Feddyliol; ac eglur ydyw fod y gangen hon yn llawer mwy naturiol i, a chydnaws â'u, tueddiadau nag ydyw Groeg, Lladin, a *Mathematics*. Gobeithiwn weled lle mwy yn cael ei roddi i'r efrydiaeth hon mor fuan ag y byddo hyny yn bosibl. Da oedd genym ganfod cymaint o bwys yn cael ei roddi ar ddysgu Saesoneg. Hon yn ddiau ydyw y gangen bwysicaf; eto rhaid addef fod llawer yn dangos rhagoriaeth cymharol fwy ar y pynciau eraill nag mewn Saesoneg. Nid diffyg yr athrawon ydyw hyn; ond y mae yn tarddu i raddau helaeth oddiar anghrediniaeth y myfyrwyr yn y pwys o fod yn ysgoleigion Seisonig da. Ychydig a all farnu beth ydyw eu gwybodaeth mewn Lladin a Groeg a *Mathematics;* ond gall pob *lawyer's clerk* a *draper's assistant,* sydd wedi bod am yspaid yn Liverpool neu Manchester, ganfod eu diffyg cydnabyddiaeth â'r iaith Saesoneg, ac oddiwrth hyny casglant nad ydynt yn rhagori llawer mewn pynciau eraill. Anystwythder, ac weithiau anghywirdeb yn y Saesoneg ydyw un achos mawr fod tyrfa y mân bersoniaid a boneddwyr ein gwlad yn synied mor isel am lawer o'n pregethwyr, ac yn eu dirmygu fel y gwnânt. Pe gallasent siarad wrthynt am bum' mynyd mewn Saesoneg dinam, buasai hyny yn fwy effeithiol tuag at ennill eu parch a'u hedmygedd na gwybod y dirgelion oll mewn Groeg a Lladin. Nid yw y pethau uchod, er yn bwysig, ond ystyriaethau ailraddol. Mae yn werth dysgu yr "iaith fain," pe na byddai ond er mwyn gallu darostwng gyda hi honiadau anwybodus dynion beilchion. Ond y mae yn perthyn i wybodaeth drwyadl o Saesoneg fanteision mwy sylweddol. Llenyddiaeth Saesoneg, yn ddiddadl, yw y gyfoethocaf ymhob cyfeiriad a fedd unrhyw iaith; a mawr a ddichon fod y cynnorthwy a gaiff y pregethwr oddiwrthi i gyflawni gwaith y weinidogaeth. Nac esgeuluser mewn un modd y cangenau eraill; ac na fydded i hawsder cymharol Saesoneg beri i neb dybio y gellir dyfod yn feistr arni ond trwy ymdrech galed a diwydrwydd dygn.

Derbyniwyd wyth o newydd i fewn i'r Athrofa eleni. Gofidus oedd genym orfod troi rhai yn ol. Saesoneg amryw o honynt oedd yn ddiffygiol. Mae y gangen hon yn dyfod yn fwy pwysig yn barhâus; ac fel y mae moddion addysg yn amlhâu, mae anwybodaeth o Saesoneg yn dyfod yn fwy anesgusodol.

Ellis W. Evans, } *Arholwyr*
R. H. Morgan, } *Clasurol.*

### DUWINYDDIAETH.

Meusydd neillduol y llafur yn y gangen hon y flwyddyn ddiweddaf oedd, *Yr Epistol at y Galatiaid*, a Jonathan Edwards ar *Ryddid yr Ewyllys.* Yr oedd y materion, gan hyny, fel arferol, yn ychydig o ran nifer, ond yn rhai tra chyfaddas i'r amcan. Nid dymunol ychwaith, o dan unrhyw amgylchiadau, a fyddai eu bod yn lliosog iawn; canys y mae yn llawer mwy pwysig i'r efrydydd wneyd ychydig o waith yn ofalus a thrwyadl na myned dros lawer o hono yn frysiog a hannerog. Ond yn yr ystâd bresennol ar bethau yn ein Hathrofa, y mae amlder yn y materion i'w osgoi am resymau neillduol ac amlwg. Yn un peth, ni fyddai yn bosibl i'r Prif-Athraw, gyda'r dyledswyddau eraill sydd yn awr ar law ganddo yn nygiad ymlaen waith y sefydliad, hebgor yr amser gofynol at gwrs cyflawn o addysg Dduwinyddol. Ac am yr efrydwyr hefyd: ar gyfrif diffygion mewn gwybodaeth elfenol ar eu mynediad i'r Athrofa, yn ol fel y mae y rheol wedi bod hyd yma, ni fyddai yn bosibl iddynt hwythau, o fewn tymmor mor fyr o arosiad yno, wneyd defnydd buddiol o un cwrs o'r fath. Yr un pryd, fe addefa pawb yn rhwydd mai y gangen hon o ddysgeidiaeth yw yr un fwyaf pwysig o'r cwbl ynddi ei hun, yn gystal a'r un fwyaf cydweddol â chymeriad yr Athrofa fel sefydliad enwadol. Ac y mae y cwestiwn pa beth a ddylid ei wneyd, neu a ellir ei wneyd, yn y dyfodol tuag at roddi i Dduwinyddiaeth ei lle dyladwy o flaenoriaeth ac arbenigrwydd yn ein *Coleg Duwinyddol*, yn un tra phwysig, ac yn deilwng iawn o ystyriaeth ddifrifol y Cyfeisteddfod a'r Gymdeithasfa.

Yr oedd ffrwyth y llafur am y flwyddyn, mor bell ag yr oedd yn dyfod i'r golwg yn yr Arholiad, yn gyfryw ag a roddai i'r Arholwr foddlonrwydd nid bychan; ac yr oedd yn amlwg oddiwrtho fod nifer mawr o'n gwyr ieuainc wedi ennill meistrolaeth dda ar y pynciau y buont yn eu hastudio. Y mae, pa fodd bynag, weddill yn aros o rai y byddai yn dda iddynt ddeall a chofio mai amcan penaf yr hyfforddiad y maent yn ei gael ydyw, eu gwneyd yn alluog i feddwl drostynt eu hunain, ac i wneyd hyny yn glir ac yn fanwl, ar unrhyw fater a ddygir dan eu sylw ac ymha wedd neu gysylltiad neillduol bynag

y gofynir am eu golygiadau arno. O gadw hyn mewn golwg, hwy a fyddant yn fwy abl i roddi y cyfeiriad goreu i'w hymdrechion, ac i roddi eu galluoedd meddyliol ar waith yn y ffordd fwyaf buddiol.

W. JAMES, *Arholwr.*

---

CAPEL NEWYDD SEISONIG CAERNARFON.

SEFYDLWYD achos Seisonig y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghaernarfon er ys dros ddeng mlynedd yn ol trwy lafur cariad ychydig gyfeillion o gapel Moriah; a chodwyd addoldŷ a ystyrid yn ddigonol a chyfleus ar y pryd yn Turf Square. Gan y llwyddiant sydd wedi dilyn yr achos ieuanc hwn o'i gychwyniad cyntaf, yr oedd y teimlad yn ffynu er ys amser bellach fod y capel hwnw ar fyned yn rhy fychan i'r gynnulleidfa, a bod eisieu lle helaethach; ac, yn wir, yr oedd *site* i'r addoldŷ newydd yn y Castle Square wedi ei brynu er ys rhai blynyddau, fel nad oedd eisieu ond adeiladu arno; ac at y gwaith gwir anghenrheidiol yr aethpwyd. Y cynllunydd oedd Mr. Richard Owen, Breck Road, Liverpool, a'r adeiladydd, Mr. R. R. Williams, Caernarfon. Ac yn awr y mae y capel newydd wedi ei orphen, ac wedi ei agor, a'r holl foddion crefyddol mwyach yn cael eu cynnal ynddo. Nid gormod yw dywedyd ei fod ymhob modd yn un o'r capelau rhagoraf oll sydd gan ein Cyfundeb, heb ynddo ddim yn ormod, na dim yn ddiffygiol. Talwyd am y tir a'r tai yn Castle Square, £1400; benthyciwyd, £250; y draul o adeiladu yd-oedd, £2349; a'r *heating apparatus*, y *gas fittings*, &c., yn £262; y cyfanswm yn gwneyd £4261. Ar gyfer hyn cafwyd am gapel Turf Square, £800; am y tir a werthwyd yn Castle Square, £160; derbyniwyd tanysgrifiadau i fyny i £1840; felly y ddyled yn aros yw £1861. Casglwyd ar Sabboth cyntaf yr agoriad ac hyd nos Lun, £546 4s. 9c. Sabboth yr 8fed o Orphenaf—dydd cyntaf yr agoriad, y bore am hanner awr wedi deg, pregethodd y gweinidog, yr hwn sydd wir gymeradwy a llwyddiannus, y Parch. Owen Edwards, B.A.; ac yn y prydnawn a'r hwyr, pregethodd y Parch. T. Charles Edwards, M.A., Aberystwyth. Pregethodd y *Principal* Edwards hefyd nos Lun; a nos Fawrth pregethodd yn Gymraeg yn nghapel mawr Moriah. Y nos Wener ganlynol pregethwyd yn y capel newydd gan y Parch. D. Charles Davies, M.A., yn awr o Fangor; a Sabboth y 15fed, pregethwyd gan y Parch. O. T. Astley, M.A., Llandudno. Yr oedd y capel newydd yn orlawn o wrandäwyr ymhob odfa.

---

TYSTEB I'R PARCH. W. JAMES, ABERDAR.

DYDD Mawrth, Gorphenaf 3ydd, ar ol gwledd ddanteithiol y prydnawn yn ysgoldŷ capel Bethania, Aberdâr, cynnaliwyd cyfarfod yr hwyr yn y capel i gyflwyno anrhegion mewn ffordd o dysteb i Mr. James, y gweinidog. Yr oedd efe wedi gommedd myned i Lundain tua blwyddyn yn ol, pan dderbyniasai daer wahoddiad, ac wedi gwrthod galwadau hefyd o leoedd eraill, er mawr lawenydd i'w eglwys ei hun yn Aberdâr, lle y mae yr undeb cynhesaf a hapusaf rhwng gweinidog ac eglwys er ys tair blynedd ar ddeg. Barnid gan y cyfeillion mai y peth lleiaf a allent wneyd oedd dangos mewn modd ymarferol eu gwerthfawrogiad o'i hunanymwadiad, a'u diolch calonog iddo. Mewn *massive frame* oreuredig rhoddwyd darlun mawr, *life-size* fel y dywedir, o hono, wedi ei wneyd gan arlunydd medrus o Abertawe; darlun mor gywir o hono ag sydd bosibl. Anrhegid ef hefyd âg oriawr aur a chadwen aur. A chyda hyny, yr oedd yno *album address* ardderchog a phrydferth. Tybygid fod yr oll tua gwerth £100 o leiaf. Llywyddwyd y cyfarfod gan D. Davies, Ysw., Maes y ffynnon; a chymerwyd rhan yn ngwaith y cyfarfod gan Mri. John Christmas a Lewis Griffiths, blaenoriaid yr eglwys, a Mri. John Davies a William Edwards, aelodau o honi; T. Phillips, Ysw., Ustus Heddwch, Abertawe; Mri. D. Evans, Bodringallt; a D. Evans, Dock; a'r Parchn J. Wyndham Lewis, Caerfyrddin; Morris Morgan; John M. Jones, Caerdydd; Lewis Jones, Pentref; D. Phillips, Abertawe; W. Edwards, Annibynwr; T. Jones, Bedyddiwr; Mr. Owen, Wesleyad, a brodyr eraill; ac ymatebwyd yn effeithiol gan Mr. James. Y cadeirydd *Dyfed* a ddarllenodd gyfarchiad o englynion campus ar yr achlysur.

---

LLUNDAIN.

Y MAE y Parch. J. Elias Hughes, M.A., yn ddiweddar o Lanelwy, wedi dechre ar ei weinidogaeth yn eglwys a chynnulleidfa Wilton Square, ac wedi ei dderbyn yn groesawus, nid ganddynt hwy yn unig, ond gan Fethodistiaid Cymreig y brifddinas yn gyffredinol. Y mae eglwys Jewin yn unfrydol wedi gwahodd y Parch. Griffith Ellis, M.A., Bootle, i'w bugeilio, ac felly eglwys Crosby Row wedi gwahodd y Parch. Ellis James Jones, M.A., Arfon. Mawr hyderir y bydd y ddau frawd yn gwrandaw yn effeithiol ar y galwadau gwresog hyn.

---

Y PARCH. DAVID SAUNDERS YN YR AMERICA.

YN *Y Cyfaill* am fis Gorphenaf, rhoddir hanes Cymanfa Talaeth New York a gynnaliwyd yn Remsen, Mehefin 5 a'r 6, lle yr oedd y Parchn. David Saunders ac O. T. Williams (Dolgellau) yn bresennol. Treuliwyd agos yr oll o Gyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am ddau y dydd cyntaf "i dderbyn, croesawu, a gwrando ar y brodyr o Gymru, ac yn enwedig Mr. Saunders, yr hwn," meddir, "a roddodd o'u blaen ffeithiau dyddorol a phwysig, yn dangos cynnydd eu Cyfundeb yn Nghymru mewn rhif, cyfoeth, a dylanwad. Diolchai y Parch. O. T. Wil-

liams am y croesaw a'r sirioldeb yr oedd wedi ei gael yn barod yn America. Dywedai ei fod yn Fethodist o waed, ac yn teimlo dyddordeb neillduol yn llwyddiant y Cyfundeb." Penderfynwyd anfon yr hyn a ganlyn fel anerchiad oddiwrth y Gymanfa at y Cyfundeb yn Nghymru:—

"Yn gymaint a bod yr Arglwydd wedi tueddu meddwl y Parch. D. Saunders i ymweled â ni yn America, teimlwn yn ddiolchgar i eglwys ei ofal am ei ollwng, ac i'r Cyfundeb am ei gymhell i ddyfod drosodd i'r Gorllewin pell, er ein cynnorthwyo ni. Wedi cael ganddo ddarluniad dyddorol o ansawdd crefydd tu fewn i gylch ein Cyfundeb yn Nghymru, a'r cynnydd diweddar sydd wedi bod arno mewn rhif, cyfoeth, dylanwad, a gweithgarwch, yr ydym yn teimlo rhwymau i gydnabod gofal yr Arglwydd am danom fel enwad, ac yn dymuno arosiad y gogoniant yn ein mysg.—Ein bod yn taer ddymuno ar i frodyr blaenaf ein Cyfundeb barhâu i ymweled â ni, ac i ymsefydlu yn ein mysg yn y wlad ëang hon. Nid y bobl a ellwch eu hebgor heb deimlo y golled sydd arnom eu hanghen yn America. Yr ydych mewn gwell mantais na ni i gadw y dosbarth hwnw adref. Ond anfonwch *weithwyr*, yn llawn ystyr y gair, i'r wlad hon. Ein gweddi yw, ar fod i heddwch a chydweithrediad barhâu rhyngom yn y ddwy wlad, a bod i'r Arglwydd ein gwneyd yn allu grymusach nag erioed i ymosod ar bob ffurf ar bechod. Dros y Gymanfa,—WILLIAM ROBERTS, *Llywydd;* D. M. JONES, *Ysgrifenydd.*

Rhoddir yn yr un rhifyn hanes y pregethu yn y Gymanfa gan y cerddor medrus, *Apmadoc,* dan y teitl, "Gwledd Gymanfäol yn Remsen." Nis rhoddwn ni yma ond cyfran o'r hyn a dywed efe am yr odfa y noson gyntaf. Diau na bydd y darllenydd yn synu dim wrth gael tipyn o Americaniaeth yn nullwedd yr ysgrif.

"Tra yr oedd y goleuni naturiol yn graddol ddiflanu, gwelsom a theimlasom belydrau Haul mawr y Cyfiawnder yn codi, yn goleuo, ac yn gwresogi o gyfeiriad allor y deml. Yr oedd y prophwyd o Feirionydd ar ei draed, ac yn traethu mewn iaith gref, eglur, a phwrpasol, ac mewn llais clir a dymunol, genadwri ei Feistr, yn sylfaenedig ar yr ysgrythyr, 'Canys meirw ydych, a'ch bywyd a guddiwyd gyda Christ yn Nuw.' Anfantais yn ddiau, hyd yn nôd i brophwyd, ydyw pregethu yn gyntaf, cyn bod y bobl wedi gorphen dyfod i fewn, a phan yr oedd esgidiau pechaduriaid y cyffiniau yn gwichian yn ansoniarus ar lawr ac ar oriel y deml. Ond buan y llwyddodd y prophwyd i ddenu y dorf at ei genadwri. . . . . Cenadwri fanol, athronyddol, oedd gan y prophwyd o Ogledd-dir y wlad bell; ac yr oedd nerth ac arddeliad arni.

"Wedi canu tôn gan gantorion y deml, cododd y prophwyd o Forganwg ei lef o'r areithfa, gan lefaru ar yr ysgrythyr hono, 'Canys gweddus oedd iddo ef, o'r hwn y mae pob peth, a thrwy yr hwn y mae pob peth, wedi iddo ddwyn meibion lawer i ogoniant, berffeithio Tywysog eu hiachawdwriaeth hwy trwy ddyoddefiadau.' Y mae rhyw swyngyfaredd grymus yn ngwyneb a llais y prophwyd hwn o Ddeheudir y wlad bell. Gwyneb ydyw sydd yn hawlio sylw ac edrychiad pob un; ond hawlio trwy ddenu y mae. Ei lais llawn, treiddgar, melodaidd, sydd lwythog o'r tynerwch mwyaf gorchfygol; ac y mae'r traddodiad yn llawn o'r *magnetism* hwnw sydd yn cyrhaedd calonau y mwyaf anystyriol. Y mae ei osleffadau yn aml yn llesmeirio yr enaid. Gorfu i'r prophwyd hwn drachefn, ysywaeth, geryddu rhai o blant y genedl yn herwydd eu hystŵr, a'u hanmhrydlonrwydd, y rhai a fasgament mewn esgidiau gwichlyd ar lawr y cysegr. Ond efe yn ŵr caredig a'u ceryddodd hwynt yn dyner, a bu tawelwch. . . . Llefarai y prophwyd gydag awdurdod a dylanwad mawr; ac nis gellir darlunio swyn ei barabl, agoarwydd ac arucheledd ei syniadau, na theimlad gorchfygol *(pathos)* ei ysbryd. Y mae efe yn feistr y gynnulleidfa, ac yn gollwng y saethau adref gyda grym ac arddeliad. Pa fodd y darluniwn *peroration* y prophwyd ar 'ogoniant?' Rhy uchel, nis medrwn oddiwrtho !"

---

# Amrywiaethau.

### GWIRIONIAID MEWN ADDOLIAD.

YR oedd gweinidog wrth bregethu amser yn ol yn cael ei boeni gan rai yn siarad ac yn cilchwerthin. Efe a safodd am fynyd, ac a edrychodd yn ddifrifol ar y rhai oedd yn aflonyddu, ac yna a ddywedodd, "Byddaf yn ofni cyfeirio yn bersonol at neb fydd yn camymddwyn dan bregeth am y rheswm hwn: Rai blynyddoedd yn ol, pan yr oeddwn wrthi yn pregethu, yr oedd dyn ieuanc yn eistedd o fy mlaen, yr hwn oedd o hyd yn chwerthin, yn siarad, ac yn gwneuthur ystumiau dyeithr. Sefais, a rhoddais iddo gerydd llym. Ar ddiwedd yr odfa, dywedodd cyfaill wrthyf, 'Chwi a wnaethoch gamgymeriad mawr yn y cerydd a roisoch. Bachgen gwirion, *idiot,* oedd y neb a geryddasoch, ac felly yn haeddu tosturi, ac nid cerydd.' Er y pryd hwnw, ofni y byddaf geryddu y rhai a ymddygant yn anweddus yn y capel, rhag i mi wneyd cyffelyb gamgymeriad, a cheryddu *idiots* eraill. Wedi i'r gweinidog ddywedyd hyn, bu yr aflonyddwyr, a phawb eraill, yn gwbl weddaidd am y gweddill o'r odfa.

### YMDDANGOSIAD YSBRYD.

Flynyddoedd yn ol yr oedd gweinidog yn Dartmouth, o'r enw Stenner, wedi cael ei alw yn hwyr iawn i ymweled âg un claf. Ar ei ddychweliad, wedi troi i gongl un o heolydd culion y dref, efe a ganfu, er ei syndod mawr, a p[illegible], ychydig oddiwrtho ryw ymddangosiad tal mewn gwyn. "Beth! ai ysbryd ydyw?" ebe efe; "a ydwyf fi yn wir yn gweled ysbryd? Wel, mi a fynaf wybod." Yr oedd y person neu'r peth oedd yn y wisg laes wèn yn troedio heb wneyd dim sŵn, a Mr. Stenner, rai llatheni o'r ôl, a'i dilynodd, nes yn sydyn yr aeth, fel yr oedd yn ymddangos, yn ddystaw o'r golwg drwy ddrws. Y bore canlynol Mr. Stenner a alwodd yn y tŷ yr aeth y ddrychiolaeth wèn iddo. Canlyniad ei ymweliad oedd, iddo gael hysbysrwydd fod un o'r merched yn y tŷ hwnw yn arfer weithiau godi a cherdded yn ei chwsg; a chafodd efe brofion mai hi oedd y neb a ganfyddasai ac a ddilynasai efe y noson flaenorol. Yr oedd hi wedi codi o'i gwely, agor drws y ffrynt, rhodio yr heolydd, a dyfod yn ol i'w thŷ a'i gwely heb yn wybod i neb o'r teulu. Pe buasai y weledigaeth hon yn cael ei chanfod gan rywun diffygiol o'r presennoldeb meddwl oedd gan Mr. Stenner, mae yn debyg mai ystori fawr am ymddangosiad ysbryd a fuasai yn cael ei hadrodd a'i chredu.

### CYFARWYDDYD I LEIDR.

WEDI i leidr fod yn cyflawni ei anfadwaith yn nhŷ arianydd, gwnaed hysbysiad mewn newyddiadur fod y lladron wedi gadael cryn yspail heb ei ddarganfod mewn lle neillduol. Ddiwrnod neu ddau yn ddiweddarach derbyniodd y golygydd lythyr oddiwrth y lleidr yn diolch iddo am ei hyfforddiant, am ei fod wedi dyfod o hyd i'r trysor.

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## BRYNIAU JAINTIA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG JIWAI, MAI 31AIN, 1883.

BYDD yn dda genych glywed fod rhai wedi eu derbyn i'r eglwys yn y dosbarth hwn er pan yr ysgrifenais ddiweddaf. Yn Nyrtiang derbyniwyd un gŵr ieuanc a bachgen. Bu farw un llanc oedd yn perthyn i'r eglwys yno. Yr oedd ei fam, yr hon sydd yn weddw, yn dysgwyl am gryn lawer o gynnorthwy oddiwrtho i fagu y teulu bach sydd ganddi. Ewyllys yr Arglwydd oedd ei gymeryd ymaith, ac y mae genym hyder cryf ei fod ef wedi ei gymeryd ato ei hun.

Yn eglwys Sohka hefyd, derbyniwyd mam a'i thri bachgen. Y mae dau eraill wedi ymgynnyg am aelodaeth, ond nid ydynt i fyny â syniad yr eglwys yno o ran purdeb eu buchedd; am hyny y maent i fod ar brawf eto am dipyn o amser cyn eu derbyn.

Nid yw wedi bod yn hollol ddiffrwyth yn Jiwai yn ystod y ddau fis diweddaf. Derbyniwyd i'r eglwys yma un teulu, yn cynnwys tad, mam, a phlentyn. Derbyniwyd un llanc tua 18 oed o Nongbah, yr hwn sydd yn ysgol Jiwai er ys dros flwyddyn. Y mae yn frawd i *Dolloi* Nongbah, yr hwn, gyda llaw, sydd yn elyniaethus iawn i Gristionogaeth ar hyn o bryd; a hyny am fod ei dad a'i chwaer yn tueddu yn gryf at Gristionogaeth, ac yn bwriadu bod yn Gristionogion. Pe gallasai, buasai yn attal ei frawd rhag ymuno â'r eglwys, ond yr oedd yn rhy gryf yn ei benderfyniad.

Ganol mis Ebrill yr oeddym yn ail agor yr ysgolion yn Jiwai ar ol y gwyliau blynyddol. Gwnaed gwledd i'r plant ar yr achlysur, a chafwyd math o gyfarfod cystadleuol mewn sillebu, darllen, adrodd a chanu. Rhoddwyd gwobrwyon i'r goreuon, ac am y *best attendance* yn ystod y flwyddyn. Yr oedd un eneth fach heb golli cymaint ag unwaith yn ystod y flwyddyn, ac yr oedd tri eraill yn agos iawn ati. Bu Mr. a Mrs. Heath (Assistant Commissioner Jiwai yw efe) mor garedig a rhanu y gwobrwyon i'r plant. Dywedent iddynt gael eu boddhâu yn fawr yn yr hyn a welsant ac a glywsant, ac annogasant y plant i ymroi ati i ddysgu a bod yn blant da ac ufudd. Dywedent hefyd y gallent wahaniaethu plant yr ysgol oddiwrth blant y pentref drwy eu hymddygiadau gweddus pan eu cyfarfyddent ar y ffordd.

## DOSBARTH KHADSAWPHRAH.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. GRIFFITH HUGHES, DYDDIEDIG NONGRYMAI, MAI 15FED, 1883.

DA genyf allu dyweyd fod yr achos yn y dosbarth yn myned ymlaen yn lled gysurus, oddieithr Nonthymai. Gwrthgiliodd dau, a diarddelwyd un yn ddiweddar. Y mae yr achos yn y pentref hwn wedi peri gofid a llawer o bryder er pan fu farw U Kypa U Moit. Y pryd hyny, fel y gwyddoch, bu farw yr oll o'r dynion mewn oed ond tri, a gwasgarodd teulu un o honynt. U Kypa U Moit oedd yr un oedd yn cynnal yr achos yno. Yr oedd yn awyddus iawn am ei lwyddiant, ac i'r dyben hwnw yr oedd yn cyfranu yn helaeth er cael rhai i'r eglwys ac i wrando. Yr oedd yn feddiannol ar lawer iawn o gaeau *rice*, yr oll o ba rai, oddieithr a fyddai yn ddigonol iddo ef a'i deulu, fyddai yn eu rhoddi am ardreth isel neu am ddim i'r Cristionogion a'r rhai a fyddent yn gwrando, heblaw llawer o help mewn ffyrdd eraill. Yr oedd efe yn gwneyd hyn oddiar ddyben cywir; ond yr oedd mewn gwirionedd yn milwrio yn erbyn llwyddiant gwirioneddol crefydd, trwy beri i'r bobl edrych ar gofleidio Cristionogaeth yn elw bydol. Pan y bu ef farw, cymerodd ei deulu y caeau oddiar ei wraig a gosodasant hwy i eraill a dalent fwy o ardreth. Mewn canlyniad ciliodd llawer o'r gwrandäwyr, ac ymadawodd eraill o'r eglwys yn raddol. Y mae hyn wedi bod yn loes drom i'r achos, ac wedi taflu y brodyr i gryn ddigalondid. Yn awr y maent yn ymwroli, ac yn edrych fel yn ymgadarnhâu, ac yr wyf yn credu ac yn gweddïo fod hwn yn ddechreu cyfnod newydd ar yr achos yno. Wrth fod yn ofalus hyd y gellir rhag derbyn neb yn frysiog ac heb arwyddion lled eglur o argyhoeddiad i'r eglwys, y daw yn achos cadarn. Byddaf yn myned yno i'r cyfarfodydd eglwysig mor gyson ag y caniatâ amgylchiadau, ac yn cadw dosbarthiadau Biblaidd yn ystod yr wythnos; ac yn anfon rhai oddiyma neu fyned yno fy hunan ar y Sabboth, er cynnorthwyo yr athraw.

Y mae Mawnai wrthi yn ail-adeiladu yr ysgoldŷ. Yr oeddwn yn gweled amryw wynebau newyddion yno yn moddion y Sabboth diweddaf y bum yno; ac y mae dau hen wrthgilwyr yn awyddus i ddyfod yn ol i'r eglwys. Anfonwyd U Sati, yr efengylydd, i Nongrim yn Ebrill, a chafwyd dyn ieuanc o'r Ysgol Normalaidd i Mawnai yr un pryd. Y mae rhai o newydd yn dechreu dyfod i wrando yn Nongrim.

Bu Prif Ddirprwywr (*Chief Commissioner*) Assam yma am ychydig ar ei ffordd o Gowhati yn nechreu Ebrill. Daeth i weled yr ysgol gyda ni. Nid oedd atebion y plant mor foddhäol ag y dylasent, nag y gallasent chwaith. Gan ein bod mewn congl, a neb Ewropeaid bron yn dyfod heibio, yr oedd y plant yn yswil ac ofnus o'i flaen ef a'r ddau oedd gydag ef. Yr oedd ef yn garedig iawn, a rhoddodd 100 *rupees* tuag at gapel newydd Mairang. Y mae y capel hwnw yn awr wedi ei doi. Casglwyd 500 *rupees* gan y brodorion yn Khasia a Jaintia tuag ato. Y mae hyn, a rhodd y Prif Ddirprwywr, yn ddigon i hyn ac i'w lorio; ond bydd eisieu ei blastro, a chael pulpud a meinciau eto. Y mae U Jura wedi bod yn llafurus iawn gyda ei adeiladu. Dysgwylir y gellir ei agor cyn pen llawer o fisoedd.

Fel y gwelsoch yn adroddiad Ysgrifenydd yr Henaduriaeth, y mae y cyfeillion yma wedi penderfynu cael capel bychan newydd, ac nid cyn bod ei eisieu. Ysgoldŷ o hesg wedi eu dwbio â chlai sydd genym er cynnal yr ysgol ddyddiol a'r moddion crefyddol. Yr ydym wedi ei daclu goreu y gallem trwy ei lorio, a rhoddi rhai meinciau a desgau ynddo er ateb y ddau amcan; ond er y cwbl gwael ac anghyfleus ydyw, a rhaid ei drwsio bob blwyddyn. Heblaw hyn, perthyn i'r pentref y mae, ac nid i'r Cristionogion yn unig, tra y mae y drafferth o'i drwsio yn disgyn yn benaf arnynt hwy. Mewn canlyniad i hyn, ac er mwyn cael gwaredigaeth oddiwrth ddilorni y paganiaid eu bod hwy yn cynnorthwyo y Cristionogion i gynnal eu crefydd, penderfynwyd cael capel ar wahân, a gadael yr ysgoldŷ i fod dan ofal y pentref er cyfranu addysg yn unig. Y mae yn wybyddus i bawb mai un o'r rhanau tlotaf o Khasia yw hwn. Nid oes yma ddim trafnidiaeth oddieithr ychydig mewn anifeiliaid, ac hefyd pytatws yn nghymydogaeth Mairang. Y mae y bobl yn cael eu bywioliaeth trwy godi *rice*, a chludo beichiau am ran o'r flwyddyn o Mawphlang i Cherra. Ychydig iawn o dreigl arian sydd. Gydag ychydig iawn o eithriadau, y mae y bobl yn byw yn hollol ar gynnyrch eu caeau *rice*, ac yn cyfnewid hwnw am yr ychydig ddillad a mân bethau eraill fydd arnynt eisieu. Ond er hyn, y mae *yr eglwys a'r gynnulleidfa hon yn unig wedi addaw* 265 *o rupees* at y capel newydd. Addawodd pedwar o'r rhai mwyaf cefnog o honynt 30 *rupees* yr un, ac un arall 25 *rupees*, ac felly i lawr hyd 2 a 3 *rupees* y weddw. Addawodd y meibion nad oes ganddynt arian i'w rhoddi godi gwerth 14 *rupees* o geryg bob un. Parodd hyn syndod mawr i mi ac i'r cyfeillion oll. Ni arddangoswyd cymaint â hyn o haelfrydedd yn Khadsawphrah, beth bynag am leoedd eraill, o'r blaen. Fe gyst capel pur gyffredin mewn lle anghysbell fel hyn, lle y rhaid cael seiri coed a meini o Cherra neu Shillong, o 1000 i 1200 *rupees*. Y mae hyn tu hwnt i allu y bobl hyn ddysgwyl ei gyrhaedd eu hunain, ac felly rhaid troi am gymhorth oddiallan. Gan fod cymaint o gasgliadau yn awr ar droed, yn gystal â'r rhai a fu yn ddiweddar, megys capelau newyddion Shangpoong, Jiwai, Mairang, ac ysbyttŷ Mawphlang, nis gellir dysgwyl cael llawer o help ar y Bryniau, ac felly nid oes genyf ond gofyn i garedigion y Gwaredwr yn Nghymru roddi help llaw i'w brodyr yn Nongrymai gyda hyn. Nid i helpu diogi y gofynir hyn, ond i gynnorthwyo'r gwan. Peth arall, caiff calonogi haelfrydedd fel hyn ddylanwad ar ddyfodol yr achos ar y Bryniau. Dysgwylir i'r achos yn Khasia dd'od yn alluog i gynnal yr efengylwyr, o leiaf, cyn bo hir, a moddion i gael hyny yw dwyn allan haelioni yr eglwysi, ac y maent wedi bod yn nodedig yn hyn gydag adeiladu capelau. Yn awr wedi iddynt ymarfer a bod yn haelionus at yr achos, deuant i deimlo eu nerth, ac i gymeryd mwy o gyfrifoldeb arianol y gwaith. Wrth gael eu calonogi, trwy eu cynnorthwyo mewn ymdrechion anghyffredin, ymwrolant a mentrant fwy drachefn, nes daw cyfranu yn hael yn naturiol iddynt.

Yr wyf wedi dechreu cadw cyfarfod duwinyddol gyda chwech o'r athrawon sydd yn dysgu mewn pentrefi cyfagos, can gynted ag y cyrhaeddodd y llyfrau oddicartref. Yr Iawn yw y mater. Y maent yn cymeryd ato yn zelog, ac yn ddiwyd iawn yn parotoi ar gyfer y dosbarth, yr hwn a gynnelir unwaith yn yr wythnos, gan fod ganddynt ffordd bell i ddyfod o'u gwahanol bentrefi. Yr ydym ni trwy hyn mewn mwy o anfantais na gorsafoedd eraill; y mae aelodau eu dosbeirth yn agos, a gallant gyfarfod yn amlach.

Y Sabbath cyn y diweddaf yr oedd Dr. Griffiths a Mr. Stephens yma gyda ni. Yr oedd ar Dr. Griffiths eisieu dyfod yma mewn cysylltiad â meddyginiaeth, a daeth Mr. Stephens gydag ef, ac felly cawsom y pleser o'u cwmni ac o'u gweinidogaeth am y Sabboth. Cafwyd Sabboth cysurus a gwrandawiad astud. Yn y cyfarfod eglwysig dilynol adroddwyd sylwedd y ddwy bregeth gan y brodyr a'r chwïorydd. Yr oedd pawb yn cofio tipyn. Bai y bobl yma yn gyffredin yw, peidio cofio y pregethau, ond y tro hwn nid oedd lle i gwyno; yr oedd pawb yn cofio rhywbeth, ac yn teimlo eu bod wedi cael bendith.

---

## DOSBARTH SHANGPOONG.

RHAN O LYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG EBRILL 26AIN, 1883.

"YR ydych wedi derbyn taflen cyfrifon Mawphlang er ys wythnosau bellach. Yr oeddwn yn bwriadu o hyd ysgrifenu adroddiad llawn am waith y flwyddyn, ond yn methu. Y mae arnaf ofn ei bod yn rhy hwyr bellach, ond rhoddaf air yn fyr. Nid ydyw y flwyddyn wedi bod yn un o gynnydd mawr, ond yn hytrach trwy symudiadau a gwrthgiliadau y mae y nifer yn llai o ddau na'r flwyddyn flaenorol. Ond y mae y flwyddyn ddiweddaf wedi bod yn amser ag y cafodd yr eglwys yma ei chadarnhâu yn fwy nag mewn un o'r blaen. Dyma y tro cyntaf i ni fedyddio plant yr eglwys. Unwyd amryw gyplau trwy briodas gristionogol. Bedyddiwyd a derbyniwyd i gymundeb nifer oedd yn fwy boddhäol ar y cyfan na'r rhai o'u blaen. Y flwyddyn diweddaf hefyd y dechreuodd y Cristionogion symud i fyw i'r tir cenadol, ac y mae y nifer sydd yma yn awr yn bump, ac yr ydym yn dysgwyl un neu ddau yn ychwaneg cyn hir. Nid ydym eto wedi gallu cael gan baganiaid, neu wrandäwyr heb dd'od i'r eglwys, symud yma. Dysgwyliaf gael hyny cyn bo hir. Mynychid y gwahanol gyfarfodydd yn lled dda trwy y flwyddyn, ond fod nifer y gwrandäwyr nad ydynt yn yr eglwys yn lled fychan."

---

## CYFNEWIDIAD YN NHERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

YN y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr. Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain. Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddioedi ymhob eglwys i wneyd y casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad angenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

DYMUNIR galw sylw neillduol at y penderfyniadau canlynol a basiwyd gan y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf.

1. Ein bod yn dymuno ar i bob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth benu ar ryw fis neillduol yn yr hwn i wneuthur y casgliad tuag at y Genadaeth Dramor, ac annog yr eglwysi i wneyd pob ymdrech i gwblhâu y casgliad o fewn y mis hwnw.

2. Ar fod i sylw neillduol gael ei alw at yr achos cenadol yn y Cyfarfod Misol am dro neu ddau cyn yr adeg y gwneir y casgliad.

3. Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd cenadol perthynol i'r sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysor. Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

GAN fod blwyddyn y Genadaeth i derfynu ar ddiwedd Rhagfyr, taer erfynir ar i swyddogion eglwysig, arweinwyr cyfarfodydd plant &c., annog y plant i ddechreu defnyddio y Blychau a'r Tocynau ar unwaith.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Cymunrodd y diweddar Mr. Peters, Caergybi, trwy law Miss Peters, 8 Market Street | 10 | 0 | 0 |
| Bettws-y-coed | 0 | 5 | 0 |
| Capel Lombard Street, Liverpool | 18 | 7 | 4 |
| Capel Princes Road, eto | 78 | 7 | 3 |

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, ESQ., 72 *Tower Buildings, Water Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 635.] MEDI, 1883. [LLYFR LIII.

## CAETHWAS IESU GRIST Y PREGETHWR I'R OES.

*Cynghor a draddodwyd ar Ordeiniad naw o Bregethwyr yn Nghymdeithasfa'r Wyddgrug, Mehefin* 14, 1883,

GAN Y PARCH. THOMAS CHARLES EDWARDS, M.A., PRIFATHRAW COLEG ABERYSTWYTH.*

ANWYL FRODYR, — Diammheu genyf eich bod yn ystyried y dydd hwn i raddau megys dydd barn yn hanes eich bywyd; ac felly y mae. Yn wir, os edrychwn ar y peth o safle eglwysig, hwn a fydd, neu a ddylai fod, yr olaf yn eich gweinidogaeth ar y ddaear. Y diwrnod mawr nesaf i ni fydd y dydd hwnw a wna yn hysbys ddirgelion y calonau, ac a brawf waith pawb pa fath ydyw. Y mae cyfnod ieuenctyd yn llawn o ddyddiau barn ac amgylchiadau penderfynol. Pan y cychwynwn i'r daith, yr ydym megys yn nghanol dinas fawr, a ffyrdd i'w gweled yn agor ar bob llaw, a byddai troi i un o honynt yn orchwyl hawdd; ond fe gyfnewidiai holl gyfeiriad a natur y daith hyd ei therfyn. Fel yr awn ymlaen i ganol gwlad, y mae y croesffyrdd yn myned yn anamlach; ac ymhen yspaid nid hawdd i'r teithiwr newid ei gyfeiriad, ond yn unig trwy droi yn ei ol. Bendith annhraethadwy i bregethwr ar ddiwrnod ei neillduad gan eglwys Dduw ydyw teimlo ei bod bellach yn gwbl anmhosibl iddo newid cyfeiriad ac amcan ei fywyd, neu droi yn ol a pheidio â'i weinidogaeth. Nid teimlad yn unig a ddylai hyn fod. Gogoniant crefydd Crist ydyw fod pob teimlad sanctaidd yn gwreiddio mewn gwirionedd a ffaith. Yn nhrefn yr efengyl y mae cyfnewidiad anian ymhob cysylltiad yn codi o gyfnewidiad cyflwr. Ystyr yr hyn a wnaethpwyd yma heddyw ydyw cydnabod eich hymgysegriad personol i weinidogaeth yr efengyl, a thrwy ychwanegu ato gysegriad yr eglwys eich selio i Dduw, yr hyn a'ch gwna mewn gwirionedd, yn gystal a theimlad, yn rhywbeth arall nag oeddych o'r blaen i eglwys Crist, i'r byd, ac i'ch dyfodol tragywyddol eich hunain. Nid dal i fyny honiadau offeiriadol yr wyf, ond adgoffa i chwi fod gwaith yr Ysbryd yn wirionedd, fod ffydd yn allu, a bod Ysbryd Duw, trwy ffydd y pregethwr a'r eglwys, yn nerthol weithredu i'w symud i gyflwr gweinidogaethol nas gellir heb bechod ei ddileu. Camsyniad yn sicr ydyw dyweyd fod y gweinidog, pan ddisgyno o'r pulpud, yn peidio bod yn weinidog ac yn ymgolli yn nghorff yr eglwys. Cyfaddefwn yn ewyllysgar mai yn yr eglwys y ceir y weinidogaeth. Y mae posibilrwydd a defnyddiau pob swydd a nerth pa le bynag y byddo Crist; ac y mae Crist pa le bynag yr ymgynnull dau neu dri yn ei enw. Ond y mae y weinidogaeth yn yr eglwys fel y mae y dderwen yn y fesen. Rhaid wrth ddylanwadau amrywiol daear, haul, a chymylau, i'r fesen ymagor a thyfu yn bren; a thrwy weithrediadau arbenig Ysbryd Crist yr ymddyrchafa y weinidogaeth allan o'r eglwys. Ac fel nas gall y dderwen ddychwelyd yn fesen ond yn unig trwy barhâu yn dderwen a chynnyrchu mês, felly hefyd y gwaith a osodwyd i'r gwir bregethwr ydyw cynnyrchu yr eglwys trwy ddal i bregethu. Y mae

* Y Cynghor hwn a argreffir yma allan o lawysgrif y traddodwr parchedig ei hun.

iddo ymddihatru o'i weinidogaeth yn ei hawdurdod a'i chyfrifoldeb yn annichonadwy, heb iddo ddigio Crist a pheryglu ei iachawdwriaeth ei hun.

Hyn yn ddiau ydyw meddwl yr apostol Paul pan y dywed mai anghenrhaid a osodwyd arno, ac mai gwae fydd iddo oni phregetha yr efengyl. Ni chymerodd yr anrhydedd hwn arno ei hun, megys na ruthrai yr offeiriaid chwaith i'w gweinidogaeth dan gyfraith Moses, heb alwad gan Dduw. Nid o'i fodd, hyny yw, nid o'i fympwy neu ei ddewisiad ei hun, fel gŵr yn ymgymeryd â masnach, yr ymaflodd yn y gwaith; ond fel goruchwyliwr a chaethwas, i'r hwn yr ymddiriedasid am y gorchwyl gan ei Arglwydd.

Dyma syniad cadarn ynddo ei hun, fod neb dyn yn argyhoeddedig ar seiliau gwirionedd fod anghenrhaid yn ei fywyd. Un o ryfeddodau bywyd yr Iesu oedd gweled bachgenyn deuddeg oed yn dadgan fod dwyfol raid y tu cefn i'w yrfa ar y ddaear. Ai rhyfyg a fyddai i ni ddyfalu fod yr argyhoeddiad hwn wedi bod yn waredigaeth iddo mewn temtasiynau, ac yn nerth moesol ynddo i ymgysegru fwyfwy i Dduw, fel yr oedd ei enaid yn sylweddoli fwyfwy neillduolrwydd arswydlawn ei genadwri? Nis gallwn ammheu nad oedd y teimlad hwn yn nerth i'r apostol hefyd redeg ei yrfa, rhag iddo mewn un modd, wedi galw eraill i'r rhedegfa, fod ei hun yn wrthodedig. Gan ymorchestu i fod yn gymeradwy gan Grist, teimlai fod anghenrhaid wedi ei osod arno. Gan fod yn rhaid ymddangos ger bron brawdle Crist, rhaid oedd pregethu.

Y mae yr argyhoeddiad hwn oedd càn gryfed ynddo yn bwysicach fyth am ei fod yn ddesgrifiad cywir a chyflawn o egwyddor lywodraethol ei fywyd. Canolbwnc duwinyddiaeth Paul a mer ei grefydd bersonol oedd Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, yr hwn a fu farw dros bawb fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt ac a gyfodwyd. Ac y mae o bwys i ni gofio mai nid edmygu Crist fel gwron, neu ei ganmawl fel cyfaill, oedd ei bregethiad o hono, ond ei garu ymlaenaf peth fel Ceidwad, ac yna, gan wybod ofn yr Arglwydd, ei wasanaethu yn ddiammodol fel caethwas yn ufuddhâu i'w feddiannydd. O'r ffaith fod yr Iesu wedi marw ac adgyfodi fel yr arglwyddiaethai ar y byw a'r meirw hefyd y tarddai neillduolion ei athrawiaeth, a holl egni a phrydferthwch rhyfedd ei fywyd. Gweled yr Iesu yn fyw a roddodd dawelwch i'w ysbryd cythryblus; gorchymyn yr Iesu a'i gwnaeth yn apostol; dylanwad personol yr Iesu, os priodol yr ymadrodd, oedd y moddion effeithiol o ras a ddefnyddiodd yr Ysbryd Glân i'w gynnysgaeddu â nerth i bregethu Crist â dyoddef erddo. Yr Iesu yn rhinwedd ei farwolaeth, a'i ymddangosiad gorchfygol iddo ar y ffordd i Damascus, a ymorseddodd, trwy ddwyfol drais trugaredd, yn frenin ar ei holl fodolaeth. Wedi ei lwyr feddiannu gan Iesu Grist, nid ystyriai fod byw yn fywyd ond fel y llanwai Crist ei fywyd; ïe, nid efe oedd yn byw, eithr Crist oedd yn byw ynddo. Arglwyddiaeth Crist, gan hyny, oedd yr anghenrhaid a osodasid arno, ac a barai iddo deimlo mai gwae ef oni phregethai yr efengyl.

Ni bu unrhyw adeg yn hanes yr eglwys pan y perthynai mwy o bwysigrwydd i'r wêdd hon ar y weinidogaeth nag a berthyn iddi yn yr oes bresennol. Braidd nad anturiwn ddyweyd mai y peth pwysicaf oll yn ein dyddiau ni i'r neb a fyno fod yn bregethwr cymhwys i'w oes ydyw, argyhoeddiad dwfn o awdurdod Iesu Grist yn gosod anghenrhaid arno i'w bregethu. Wrth son am bregethu i'r oes, nid wyf yn anghofio gair y duwiolfrydig Leighton: "If all of you preach up the times, you may surely allow one poor brother to preach up Christ Jesus and eternity." Ac os rhaid, er mwyn pregethu i'r oes, aberthu y pregethiad o Grist Iesu a thragywyddoldeb, yna gadawn i'r oes ymguro, a phregethwn Grist pa un a wrandawant hwy ai peidio. Fe allai y cawn ambell enaid unig yma a thraw i lawenychu yn ein cenadwri; ac os try pawb y glust fyddar, ni a arloeswn y tir i genedlaethau a fyddant yn fwy teilwng o'r weinidogaeth hon. Nid gan yr oes y derbyniasom ein pregeth. Nid esbonio yr oes iddi ei hun ydyw gorchwyl penaf neb y daeth gair yr Arglwydd ato, y gorphwysodd arno law yr Arglwydd, ac y cyffyrddodd un o'r seraphiaid â'i enau â marworyn oddiar allor Duw; ac os na

fenthyca gredo yr oes, llawer llai y gall ymostwng i gynnrychioli oes na wêl ddim i'w gredu, ond a broffesa fod pob peth i'w ammheu am Dduw a byd ysbrydol. Ond y gwir ydyw mai am nas gallwn gynnrychioli ein hoes y dylem fod yn bregethwyr cymhwys iddi. Chwi a gofiwch sylw y doethor nas gellir astudio un wyddoniaeth ond oddiar safle uwch gwyddoniaeth arall. Yr un modd, neu yn hytrach llawer mwy, y mae yn ofynol i'r neb sydd yn bregethwr i'w oes sefyll ar wirioneddau uwch ac eangach na'i oes. "Ai oddiwrthych chwi yr aeth gair Duw allan?" gofynai yr apostol. Pe felly, nid efengyl mohono. Y mae ystyr mewn ystyr i'r geiriau syml a ysgrifena yr un apostol at eglwys Corinth, "A myfi pan ddaethum atoch." Nid cynnyrch ei oes yn hollol, er ei fod yntau yn perthyn iddi, ond cenad ac apostol at ei oes, ydyw pob gwir bregethwr. Ni bu erioed adeg lai hunanddigonol i gyflenwi ei hanghenion ysbrydol na'r oes bresennol; yn anad unrhyw un a fu o'i blaen, ymddibyna ar nerthoedd y tu allan ac uwchlaw iddi ei hun. Gwell na'r cwbl, yr unig feddyginiaeth i iachâu ei chlwyfau marwol ydyw yr efengyl, a pheth goreu a mwyaf bywydol yr efengyl. Mewn amseroedd eraill ymdrech anffyddiaeth oedd cymeryd y rhagfuriau, ac mewn canlyniad amcan y pregethwr oedd amddiffyn gwirioneddau nad ydynt, er mor bwysig y gallant fod, yn cynnwys hanfod yr efengyl. Ond nyni a gawsom y rhagorfraint, fy mrodyr, o fyw mewn adeg pan nad oes dim mewn cymhariaeth yn bwysig ond yr athrawiaeth fwyaf bywydol, fwyaf ymosodol, yn nhrefn y prynedigaeth. Pregethu i'r amseroedd ydyw pregethu "Christ Jesus and eternity;" oblegid cwestiwn yr amseroedd ydyw, "A oes byd tragywyddol?" a'n hateb ninnau i'r cwestiwn ydyw, "Y mae Iesu Grist."

Y mae tueddiadau meddyliol yr oes yn gofyn am yr athrawiaeth am Grist; a'r hyn a sicrhâ i'r athrawiaeth hon ei lle yn y weinidogaeth ydyw, fod y pregethwr yn fyw i bresennoldeb ac awdurdod Crist arno. Un o nodweddion yr oes ydyw y duedd i droi pob ymchwiliad yn ymchwiliad hanesyddol. Os edrychai meddylwyr yr oesoedd gynt iddynt eu hunain am egwyddorion, cynniweiria ein hoes ni am ffeithiau. Nid oes un egwyddor feddyliol neu foesol nad ydyw yn hawdd gan y naill blaid neu y llall ei hysgubo ymaith fel gwe y pryf copyn. Ond ni feiddia neb, heb fod yn anffyddlawn i'w oes, esgeuluso ffaith na gwrthod iddi y lle a'r dylanwad a deilynga. Am egwyddorion, y mae cynseiliau y pleidiau gwrthwynebol yn hollol groes i'w gilydd; ac nid oes dim i'w wneyd ond i bob plaid fyned i'w ffordd ei hun heb gydnabod bodolaeth un blaid arall na gobeithio argyhoeddi neb ond ei phlant ei hun o wirionedd ei hathrawiaeth, tra y mae morthwyl y daearegwr yn taro gwirioneddau newydd allan o'r ceryg. Gellir gweled arwyddion yr amseroedd ar raddfa fechan yn ein plith ein hunain. Sylwch ar y cyferbyniad rhwng trwst brwydrau duwinyddol Cymru o fewn cof rhai sydd yma heddyw, â'r dyeithrwch sydd erbyn hyn wedi eu gorchuddio mor llwyr fel yr oedd yn rhaid wrth fedr desgrifiadol mwy na chyffredin i wneyd eu hanes yn ddarllenadwy i'r rhan fwyaf o honom ni. Ond craffwch ar y dyddordeb dwfn a deimla ieuenctyd ein Hysgolion Sul wrth chwilio i mewn i hanes Crist a'i apostolion. Edrychwch, drachefn, ar gynllun yr oes i ddwyn addysg o fewn cyrhaedd y bobl. Y mae y gwahanol bleidiau yn parhâu i ddal eu hathrawiaethau eu hunain, ond cyttunant i wahaniaethu arnynt; ysgarant rhwng eu hathrawiaethau enwadol a'u gweithgarwch ymarferol, ac ymunant yn gyfeillgar mewn ymdrechion o'r pwysicaf i lesoli y genedl â dynion a ystyriai eu tadau yn elynion Duw a dyn. Bydded felly. Ond y mae Cristionogaeth yn wynebu yr oes fel y mae â Pherson gwrthddrychol, yr hwn yn ddiammheuol a ymddangosodd yn ein byd, yr hwn oedd yn gyflawniad o ragfynegiadau dyeithrol gweledyddion y cynoesoedd, ac yn well na chyflawniad o obeithion gogoneddusaf dynolryw; yr hwn a fu, nis gellir ei wadu, yn gychwyniad newydd i wareiddiad cymdeithas, i egni meddwl, i ddyngarwch a defosiwn y goreuon o'r hil. Cyferfydd Cristionogaeth yr oes â ffaith brofedig fod Iesu Grist wedi byw a marw ac adgyfodi y trydydd dydd; ac ymhlith y pethau diymwad sydd heddyw yn hollol anesboniadwy gan unrhyw gyfundrefn wrthgristionogol, y

mae yr Iesu ei hun, yr hwn y taerai Paul ei fod yn fyw. Y mae pob ymgais i roi cyfrif am Gristionogaeth, ond trwy ganiatâu y ffaith o adgyfodiad yr Iesu, wedi troi allan yn fethiant truenus. Y ddyfais bellach ydyw syrthio yn ol ar haeriad, neu, fel y galwant hwy y peth, egwyddor gyffredinol, fod gwyrth yn anmhosibl. Ond sylwch beth a gynnwys hyn. Y mae yr ysgrifenwyr a honant eu bod yn cynnrychioli ysbryd yr oes yn anffyddlawn i un o dueddiadau arbenig yr oes, pan y gwrthodant wneyd ymchwiliad i ffaith, ac y llechant dan gysgod egwyddor; ond y mae Cristionogaeth, ar y llaw arall, yr hon a hawlia ei bod yn rhywbeth gwell na chynnyrch yr oes, ac a ddisgynodd atom ar hyd y canrifoedd, trwy gyfnodau ar ol cyfnodau yr un, yn cynnyg ffaith hanesyddol i sylw, ac yn dadgan ei pharodrwydd i roi ei dyfodol i orphwys ar y profion sydd ganddi fod y ffaith hono yn wir. Y mae y pregethwr cristionogol, yr hwn, fel Paul, a benderfyna beidio gwybod dim ond Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio, yn ffyddlawn i'w oes heb fod yn anffyddlawn i'w genadwri, ac yn llawer ffyddlonach iddi erbyn hyn na'i wrthwynebwyr. Yn y ffyddlondeb hwn y bydd ein doethineb a'n nerth. Esgeuluso y ffurf hanesyddol a phersonol hon ar yr efengyl ydyw ei hamddifadu o bob neillduolrwydd a mîn. Ond i osod Crist yn ganolbwnc ein gweinidogaeth, rhaid iddo fod yn ganolbwnc ein crefydd bersonol. Os dymunwn allu pregethu yr Iesu hwn, ac nid drychfeddyliau breuddwydiol—os mynwn ymosod ar y byd fel y mae, ac nid ymddoethi mewn amddiffyniadau yn erbyn gelynion sydd wedi hen ddiflanu, rhaid fod Iesu Grist wedi darostwng pob cynneddf a rhan o honom i'w ufudd-dod ei hun.

Ond y mae pob dyn meddylgar ar sail y ffeithiau a dderbynir ganddo yn adeiladu rhyw fath o gyfundrefn. Dilynwn ein hoes, gan hyny, nes y deuwn o hyd i'w hesboniad eithaf ar holl ffeithiau natur a dynoliaeth. Y mae ei hesboniad ar y cyfanswm yn gorwedd mewn un gair. Ar y cyntaf fe allai nad ymddengys dim yn fwy gelyniaethus i Gristionogaeth na'r syniad newydd am ddadblygiad. Ond pan ystyriwn y peth yn fanylach, nid oes nemawr amgylchiad y dylem lawenhâu yn fwy o'i herwydd na'r afael gref sydd gan y drychfeddwl hwn ar ein hoes. Os nad ydyw yn taflu ffrwd o oleuni ar dduwinyddiaeth—ac fe ddichon ei fod,—o'r hyn lleiaf rhydd fantais neillduol i ni ddeall un o athrawiaethau penaf yr apostol Paul. Yr hyn sydd yn ddiffygiol yn syniad yr oes am ddadblygiad ydyw amcan. Yn y cysylltiad hwn y mae edrychiad gwyddoniaeth yn ol. Ni feiddia brophwydo. Olrheinia y ddynoliaeth i'w chychwyniad yn yr ewyn llwyd, fe ddichon, a weddillir gan y dòn; ond yn ofer y gofynwn iddi awgrymu at ba nôd yr ydym oll yn cyrchu. Eithr os cynnydd, cynnydd tuag at ryw bwynt. Heb hyn pa fodd y gwyddom mai dadblygiad er gwell ydyw, ac nid dirywiad parhâus a ddybena mewn dystryw? Yn wir, gyda golwg ar y greadigaeth weledig, onid yw gwyddonwyr bron yn unllais mai i ddinystr trwy dân y mae deddfau anian yn dirwyn? Yr amcan goruchel yr hwn a lywodraetha yn deilwng o Dduw droell naturiaeth a rhediad hanesyddiaeth, ni ddarganfyddwyd eto, ac ni raid i ni betruso ychwanegu na ddarganfyddir ef byth; a thra yr ymguddia hwn, nid yw natur a dynoliaeth ond allorau ar y rhai y mae yn ysgrifenedig, "I'r Duw nid adwaenir." Yr Hwn y mae gwyddoniaeth yn ymbalfalu am dano, hwnw y mae yr efengyl yn ei fynegu, ac nid yw nebpell oddiwrth neb o honom. Y Gair, Rheswm Duw dros wneuthur pob peth, a wnaethpwyd ei hun yn gnawd. Y Gair, trwy yr hwn, fel cyfrwng, y gwnaethpwyd pob peth, ac heb yr hwn, fel amcan, ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd, ydyw y dyn Crist Iesu, yr ail ddyn o'r nef, at yr hwn y mae pob da yn cyrchu, trwy yr hwn y bywheir pawb, ac yn yr hwn y mae pob peth yn cydsefyll, fel maen clo holl arfaethau a gweithredoedd Duw. Weithiau, rhaid addef, llesmeiria ysbryd y cristion meddylgar wrth weled anffyddiaeth yn dyfod i mewn fel afon. Ond yn sicr, fy mrodyr, yn nghanol pryder a dychryn llawenychu a ddylem, am ein bod wedi cael byw yn y fath amseroedd, difrifol yn wir a llawn o beryglon, ond cymhwys iawn, er hyny, i wrandaw ar y genadwri am Grist; a llawenychu a wna y pregethwr y llanwyd ei ysbryd â'i ogoniant.

Nac ofnwn, ychwaith, bregethu yr

athrawiaeth am Grist yn ei hagweddau mwyaf cyfriniol. O rai cyfeiriadau y mae yn anhawdd gwadu y cyhuddiad mai oes faterol ydyw hon, ac mai y dyn anianol a edmygir ganddi fwyaf. Ond yn nghanol ei masnach a'i fferylliaeth, ei syched am gyfoeth a'i huchelgais cymdeithasol, y mae i'n hoes nodweddion gwell na'r rhai hyn. Y mae ei barddoniaeth goreu yn ddwys, ac yn llawn hiraeth am yr ysbrydol. Ymhlith ei meddylwyr gellir canfod gwrthweithiad penderfynol, ond araf a gwyliaidd, yn erbyn cyfundrefn y materolwyr. Y mae yr oes yn dyheu fwyfwy am gyffyrddiad â rhyw nerthoedd pur wahanol i ddeddfau anianyddol, neu i gydymgais mewn masnach a gwleidyddiaeth. Os edrychwn yn nês adref drachefn, o dan y gwahaniaethau sydd yn ysgar pleidiau crefyddol oddiwrth eu gilydd, onid ydynt oll fel eu gilydd yn ymofyn am waredigaeth oddiwrth ddrygau a pheryglon yr oes yn yr agwedd gyfriniol ar yr athrawiaeth am Grist? Beth yw nodwedd oreu Uchel-eglwysyddiaeth? O dan gyfeiliornad peryglus, deil y blaid hon i fyny ger bron ammheuwyr a bydolwyr y gwirionedd am breswyliad goruwchnaturiol Crist yn ei eglwys. Er diffygion pwysig, y mae y blaid lydan, drachefn, yn dylanwadu yn ddwfn ar gylch lled fychan ond meddylgar, trwy alw dynion oddiwrth esgyrn sychion hen ddadleuon at fywyd ac Ysbryd Crist. Yn y blaid efengylaidd, hefyd, o bob enwad, weithiau, fe ddichon, nid heb gulni a bychander mewn rhai cyfeiriadau, y mae lliaws o ddynion ymroddgar yn cyhoeddi yn effeithiol i filoedd y werin mai Iesu Grist ydyw gwrthddrych ffydd pechadur. Pa fodd yr esboniwch, yr hyn sydd ffaith ddiammheuol, fod pregethwyr grymus ymhob plaid, a'u bod oll—y rhai grymus a phan y maent yn rymus—fel eu gilydd yn pregethu Iesu Grist, ac yn ei bregethu yn nirgelwch a dyfnderoedd cyfriniol ei Berson a'i waith? Pa fodd y dygwydd ein bod oll fel ein gilydd yn canu yr un emyn—"*Rock of Ages cleft for me?*" Yr unig esboniad ydyw fod difrifoldeb pob gwir bregethwr yn peri iddo deimlo nad oes dim, wedi'r cwbl, yn werth ei bregethu, na dim ychwaith y meiddia ei bregethu, ond Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio. Dynion heb ddwysder yn eu hysbryd ydyw yr unig bregethwyr a allant wneyd hebddo. Ymdrechwn gyrhaedd y gwir ddifrifoldeb hwnw sydd yn codi o'r ymdeimlad o awdurdod Iesu Grist arnom. Hyn fydd y moddion mwyaf effeithiol i'n cadw rhag gwyro, ac, os cyfeiliornwn, i'n cadw rhag derbyn niwed anaele oddiwrth ein camsyniadau a'n diffygion. Rhown holl bwysau ein gweinidogaeth i orphwys ar y sylfaen a osodwyd, yr hon yw Iesu Grist.

Pell ydwyf oddiwrth awgrymu y dylem gyfyngu ein hunain i'r athrawiaeth am Grist. Y mae amrywiaeth diderfyn a chyflawnder gwirioneddau yn nghyrhaedd y pregethwr llafurus, ac yn ofynol yn ei weinidogaeth. Os cyfyngwn ein hunain i un athrawiaeth, ïe, yr athrawiaeth bwysicaf, y tebygolrwydd ydyw y cymer ein gweinidogaeth y ffurf amddiffynol, yr hyn a fyddai ar y cyfan yn wendid dirfawr, ac yr elai cyn bo hir yn unochrog a chul, yr hyn a arweiniai yn sicr i gyfeiliornadau andwyol. Gwna helaethrwydd a chyfoeth yn ein pregethu i'n gweinidogaeth fod yn eofn ac ymosodol; ac y mae gweinidogaeth ymosodol fel rhediad ffrwd yr afon yn iachâu y dyfroedd. Yr hyn sydd yn bwysig ydyw, ein bod yn cysylltu pob gwirionedd a bregethir â'r Arglwydd Iesu Grist. Os dygwydd fod unrhyw athrawiaeth neu syniad nas gallwn eu caethiwo i ufudd-dod Crist, gadawn hwynt allan hyd nes y caffom afael ar y berthynas sydd rhyngddynt â'r canolbwnc. Nid yw yr apostol Paul byth yn trin unrhyw wirionedd am Dduw, am ddyn, hyd yn nôd am y greadigaeth, heb ei gysylltu â Christ. Tad ein Harglwydd Iesu Grist ydyw Duw; dyn yn Nghrist ydyw efe ei hun; a thosturia wrth glywed y creadur yntau yn ocheneidio am ddadguddiad meibion Duw. Cymerwn engraifft mewn athrawiaeth yr ennilla siaradwyr yn ein dyddiau ni enwogrwydd wrth ddangos eu medrusrwydd arwynebol i'w thrafod. Nid i ni heddyw y perthyn i drin yr athrawiaeth y bydd fflamau Gehenna o'r diwedd yn llacio, a'r olosg yn oeri fel y lloer. Ond sylwch ar y dystawrwydd sydd gan mwyaf yn teyrnasu uwch ben colledigaeth yn epistolau Paul, a gwrandewch ar ymadroddion yr apostol: "Beth sydd i mi a farnwyf ar y rhai sydd oddiallan? . . . Y rhai sydd oddiallan, Duw sydd yn eu

barnu." Os nad allwn gysylltu gwirioneddau arswydlawn â Christ, na chyffyrddwn â hwynt byth wrth bregethu. Yr un pryd, yr wyf yn credu fod yn bosibl pregethu y gwirioneddau mwyaf ofnadwy yn efengylaidd, nes toddi yn lle caledu y gwrandäwyr. Y ffordd ydyw eu cysylltu â Christ. Os gellwch wneyd hyn, bydd nerth ynddynt, yn enwedig os ydych, fel yr apostol, yn ddigon ysbrydol i beri i gydwybodau y gwrandäwyr ofyn iddynt beth a dybygant hwy haeddu o'r hwn a fathrodd Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod.

Eithr y mae i'r oes ei thueddiadau moesol yn gystal â'i neillduolion meddyliol. Anturiaf ddyweyd nad oes dim mor addas i'w cyfarfod hwythau hefyd â llwyr ymgysegriad y pregethwr i ufudd-dod Crist. Un o ragoriaethau penaf yr oes ydyw ei bod yn rhoi mawr bris ar ddiragrithrwydd. Gall hi faddeu bron bob diffyg arall ar gyfrif cywirdeb; ond ni faddeua byth bregeth wych a bywyd gwael, dail areithyddiaeth ar foncyff pydredig. A phan y dechreua dynion o onestrwydd meddyliol, er mor bell y dichon iddynt grwydro oddiwrth wirionedd yr efengyl, gredu yr hyn a haera rhai heb ei gredu, mai coegni yw ein geiriau, mai elw yw ein duwioldeb, ac mai gwneyd masnach o air Duw yw ein gweinidogaeth, y mae pob gwir effeithiolrwydd wedi diflanu o'n cyflawniadau. Ond yn ychwanegol at ddiragrithrwydd, rhaid yw cael ysbrydolrwydd. Y mae gan ein hoes lawer o ddiragrithrwydd ynddi ei hun, ond yr hyn nid oes ganddi (ac o ddiffyg ei feddu y mae mewn perygl o golli yr hyn sydd ganddi) ydyw ysbrydolrwydd. Dynion sanctaidd ydyw cri yr amseroedd. Dyma ffurf o gymeriad y mae yr oes yn ymdrechu ei gynnyrchu ac yn methu; a'i methiant yn hyn o amcan ydyw y prif achos o'i hanffyddiaeth, ei hanobaith, a'i thrueni. Y mae y naill flodeuyn yn cynnyrchu ei debyg, a'r tebyg hwnw, os mynwch chwi, yn welliant trwy ddetholiad naturiol ar yr hyn a fu o'i flaen. Ond y mae dynion sanctaidd o hyd yn darfod, ac eto o hyd yn tarddu drachefn. Y mae pob un o honynt yn greadigaeth newydd. Ni fu dim o'i flaen i roi cyfrif am ei ymddangosiad, ond Duw yn unig. Ni ddaw dim ar ei ol sydd yn rhwym o fod yn welliant arno, ond yn unig efe ei hun wedi ei berffeithio. Pan y ceir ef—ac y mae yn ymddangos yn annysgwyliadwy o oes i oes mewn manau—dyna brawf mor wirioneddol, er cymaint y gwahaniaeth, o ddwyfoldeb yr efengyl âg ymddangosiad Mab Duw yn y cnawd. A phrawf ydyw a ddeallir gan yr oes. Ystyrir y dyn ysbrydol gan y byd megys dyeithrddyn ar y ddaear, a chyfarchir ef, fel yr ä heibio, "O Sant!"

Nid prawf yn unig ydyw. Y mae ysbrydolrwydd pur ac aruchel yn rhoi effeithiolrwydd newydd i'r genadwri, ac yn gwneyd y pregethwr ei hun yn bregeth. Canys beth ydyw pregethu? Nid ffrwyth galluoedd y dyn ei hun, pa mor gryfed a dysglaer bynag y byddont, ond gwirionedd dwyfol yn dyfod at ddynion trwy y dwyfol mewn dyn: Duw yn ymsymud ar bob cynneddf ac yn treiddio trwy bob rhan, nes gwneyd y dyn yr offeryn cymhwysaf i Dduw lefaru trwyddo wrth ddynion. Cymer y gwir bregethwr ei le—mor ofnadwy ac eto mor ogoneddus y syniad!—ymhlith cyfryngau gras Duw, gyda'r ymgnawdoliad a'r gair a'r sacramentau: Duw yn Nghrist, Crist yn y gair, a'r gair drachefn yn y pregethwr. Ond yr hyn yr wyf yn cyrchu ato ydyw hyn: Os y ffurf uchaf ar gymeriad ydyw ysbrydolrwydd, y ffurf uchaf ar ysbrydolrwydd yn ein dyddiau ni ydyw llwyr ymroddiad i wneyd gwaith effeithiol dros yr Arglwydd Iesu Grist. Na thwyllwn ein hunain. Y mae y pregethwr dilafur allan o'i le yn yr amseroedd hyn. Mewn oesoedd eraill dichon fod dynion yn dduwiol mewn bywyd o freuddwydio, ac mewn dyeithrwch ysbryd oddiwrth eu hoes. Heddyw, pa fodd bynag, y mae yn eithaf sicr, ac yn bwysig iawn i'w ddwys ystyried gan bob pregethwr, mai y duwioldeb puraf ydyw cydymdeimlad dwfn âg archollion y dynion sydd yn byw o'n hamgylch—argyhoeddiad cadarn nad oes dim all eu hiachâu ond y newydd da am Iesu Grist—yr ymgysegriad llwyraf iddo yn amcanion gogoneddus ei fywyd a'i farwolaeth, ac adnabyddiaeth o hono yn ngrym ei adgyfodiad. Rhyfedd a grymus y dylanwad a gaiff yr ymroddiad hwn i Iesu Grist ar y pregethwr! Gesyd weddeidd-dra hyd yn nôd ar ei ystum, awdurdod a thynerwch ar ei edrychiad; rhydd ystwythder a nerth

i'w lais, a hyawdledd i'w barabl; donia ei ddeall â threiddgarwch, a chorona ei deimlad â dwysder eneiniad. Ond, wedi'r cwbl, pa beth yw prydferthwch agweddiad neu bereidd-dra llais, ïe, beth yw craffder dealltwriaeth y gweledydd, i fod yn gyfrwng digonol i'r bywyd tragywyddol ffrydio trwyddo i enaid dyn? Yr unig foddion digonol ydyw ffrydlif gref o'r bywyd tragywyddol ei hun; ac nid yw ffrydlif o'r bywyd tragywyddol yn y pregethwr yn ddim amgen na chariad dwfn at Iesu Grist ac ymgysegriad perffaith iddo. Pan y gwelwch y bywyd hwn yn ffrydio trwy holl gynneddfau a gras usau y naill ddyn i mewn i ysbryd y llall, dyna y gwir bregethwr; dyna bregethwr y mae yn rhaid iddo ennill goruchafiaeth ar ei oes dros Dduw. Dyna bregethwr a gaiff fuddugoliaeth yn y man ar uchelgais personol, ar y pechod parod i'w amgylchu, ar lwfrdra ysbryd, ar ammheuon ynghylch ei gyflwr, ac ar ofn marwolaeth. Efe a esgyn i fynydd yr Arglwydd ac a saif mewn tangnefedd heddychol, weithiau mewn llawenydd annhraethadwy, yn ei le sanctaidd ef. Bydd ei fywyd yn rhydd oddiwrth anesmwythdra ac anniddigrwydd annuwiol. Cyflawna y gwaith a roddwyd iddo heb arafu, heb brysuro, heb genfigenu wrth ei well, heb ddiystyru y gwan; a phan nesâ amser ei ymddattodiad, ar ol ymdrech dêg, efe a orphena ei yrfa mewn gobaith sicr fod coron cyfiawnder yn nghadw iddo, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i bawb a garant ei ymddangosiad Ef.

---

## PA BETH A ALLEM AC A DDYLEM WNEUTHUR TUAG AT Y RHAI SYDD YN ESGEULUSO MODDION GRAS.

*Gan y Parch.* EVAN JONES, *Pentrecelyn.*

(Papyr a ddarllenwyd yn Nghyfarfod Misol Dyffryn Conwy, a gynnaliwyd yn Colwyn Bay, Ionawr 18, ac yn Nghyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, a gynnaliwyd yn Llanelwy, Mawrth 1, 1883.)

DIAU y cydnabydda pawb ar unwaith fod hwn yn fater pwysig, yn ddigon pwysig i'n galw at ein gilydd o wahanol barthau y wlad i'w ystyried, pe na buasai genym ddim arall i fod dan sylw yn ein cyfarfod. Nid oes dim sydd sicrach na bod yn ein mysg lïaws eto heb fod yn mynychu moddion gras gyda nemawr gysondeb, yn enwedig yn ein trefi poblog a'n hardaloedd gweithfäol; a cheir ambell i deulu o'r fath hyd yn nôd yn ein hardaloedd gwledig, a'r cymydogaethau sydd wedi eu hennill lwyraf i ymarfer â'r moddion. Y mae ein cyfleusderau crefyddol yn llïosog, ond y mae rhyw ddifaterwch rhyfedd yn meddiannu llïaws o drigolion ein gwlad er y cwbl. Y mae arnom ofn fod y dosbarth hwn yn llïosocach nag y mynem gydnabod eu bod. Nid ŷm yn tybied fod ynom un duedd i gau ein llygaid yn wirfoddol ar y gwirionedd, nac i dwyllo ein gilydd; ond dichon nad ydym yn ddigon byw i'n sefyllfa, nac yn rhoi sylw digon manwl i'r amgylchiadau. Yr ydym yn bwrw golwg, fe allai, dros ryw gylch bychan o'r wlad, y cylch yr ydym ni yn fwyaf cydnabyddus âg ef; ac o herwydd nad oes nemawr neb o fewn y cylch hwnw yn arfer esgeuluso, yr ydym yn dueddol i feddwl fod yr holl wlad yn gyffelyb. Ond y mae'r sylw a delir i'r mater gan wahanol enwadau crefyddol yn brawf fod y drwg yn bod, ac yn bod i fesur lled helaeth a chyffredinol. Ni buasai sylw cyffredinol yn cael ei dalu iddo oni buasai fod y drwg yn gyffredinol. Byddai yn ddrwg genym fyned i eithafion gyda golwg ar hyn trwy dybied fod ein gwlad yn waeth nag ydyw yn y peth hwn, er o bosibl y byddem yn sefyll ar dir mwy diogel felly nag wrth geisio ei ddangos yn llai nag ydyw, a thrwy hyny süo meddwl neb sydd yma i ddifrawder a difaterwch. Y mae y drwg yn bod; y mae llawer o esgeuluso yn ein gwlad. Y mae y mater eisoes yn tynu sylw y gwahanol gyfundebau crefyddol, ac y mae yn ddigon pwysig i gael ein sylw ninnau.

Fe allai mai un o'r peryglon mwyaf i ni fel enwad ar hyn o bryd yw, tybied fod genym afael gref ar y wlad, a thrwy hyny lacio yn ein hymdrechion; bod yn rhy hunanhyderus, ac i'r hunanhyder hwnw droi yn ddinystr i ni. Onid oes lle i ofni fod arwyddion ein bod eisoes yn colli ein gafael i ryw fesur ar y dosbarthiadau isaf yn ein llänau, a'n trefi poblog? Y mae cyfartaledd da o'r dosbarthiadau canol yn ein cynnulleidfäoedd; ond onid ydym yn colli y dosbarthiadau isaf o gymdeithas? Y mae rhai o honynt yn cael eu denu i leoedd eraill, a hyny trwy foddion na hoffem weled y Methodistiaid byth yn eu harfer i ennill gwrandäwyr; ond onid oes llawer o'r dosbarthiadau yna yn esgeuluso pob moddion o ras? A dyma un o elfenau ein gwendid ni, un o elfenau ein dirywiad,—pan yr ydym yn colli gafael ar y dosbarthiadau isaf. Ni fynem er dim ddiystyru y cyfoethogion; y mae yn dda iawn i ni wrth ambell un

o honynt. Ond gallwn fforddio i rai o honynt hwy eto fyned drosodd at Eglwys Loegr i chwilio am beth nad yw yn debyg y gallant ei gael gyda ni. Ond os collwn afael ar y dosbarthiadau isaf, y mae ein tynged wedi ei selio. Tra yr erys y rhai hyn gyda ni, nis gellir ein diwreiddio allan o'r wlad; ond y mae arnom ofn fod dechre y diwedd wedi cymeryd lle, os nad allwn mewn rhyw fodd ei wrthweithio, trwy fod lliaws o'r dosbarthiadau hyn nad ydynt yn mynychu moddion gras gydag un enwad mewn cysondeb, a lliaws mewn rhai manau heb fod felly o gwbl.

Ond y cwestiwn pwysig i ni i'w ystyried ydyw, Pa beth a allem ac a ddylem ni wneuthur er gwella y sefyllfa hon ar bethau? Pa beth a allem ac a ddylem wneuthur er dwyn yr esgeuluswyr i sŵn yr efengyl? Dylem wneuthur yr oll a allwn; a diau na chyfeiliornem pe y dywedem y gallwn wneuthur yr hyn oll a ddylem. Y mae ein gallu a'n dyledswydd yn ogyfartal. Y mae cyfrifoldeb mawr yn gorwedd arnom fel Cyfundeb, gan fod rhagluniaeth wedi rhoi safle fanteisiol iawn i ni yn y wlad, i'w hefengyleiddio yn drwyadl; ac y mae o ddirfawr bwys i ni pa fodd y gallwn yn oreu ymateb cydwybod dda yn wyneb y cyfrifoldeb hwnw. Teimlwn fod hwn yn ymofyniad tra phwysig; a buasai yn dda genym pe buasai y gorchwyl o agor y mater wedi ei ymddiried i rywun arall, rhywun digon craff i weled pa beth a ddylai ein Hisrael ei wneuthur dan yr amgylchiadau—rhywun a allasai roddi tôn ddigon uchel a difrifol i'r ymdriniaeth. Pa fodd bynag, cynnygiwn ychydig sylwadau mewn atebiad i'r ymofyniad sydd yn destun yr ymdriniaeth, gan obeithio y byddant yn rhywbeth heblaw bod yn sail yr ymdrafodaeth yma heddyw,—y byddant mewn gair yn symbyliad i weithgarwch.

1. Un peth y gallem ac y dylem ei wneuthur yn yr achos hwn yw, *bod ein hunain fel swyddogion eglwysig yn fwy teimladol o'n rhwymedigaeth, ac yn fwy ymdrechgar i'w chyflawni;* bod yn fwy ymroddgar i fyned ar ol yr esgeuluswyr, i'w cymhell, i ymresymu â hwy am eu hymddygiadau, i wneyd pobpeth a allwn er eu hennill, ac i weddio gyda hwy am fendith ar yr ymdrechion hyn. Y mae cyfrifoldeb swyddog eglwysig yn fawr, a'r rhwymedigaeth y mae dani yn un bwysig iawn. Nid oes dim yn cyfateb i'r fraint y mae swyddog eglwysig wedi ei chael trwy gael ei alw i swydd yn eglwys Dduw, ond y rhwymedigaeth orphwysedig arno i gyflawni dyledswyddau ei swydd. Y mae wedi cael ei osod ar yr eglwys, nid i godi neu i ddarostwng, i fywhâu neu i farwhâu y neb a fyno, ac fel y gwelo efe yn dda, ond yn oruchwyliwr, â chanddo ei gyfrif i'w roi i'w Arglwydd am ei holl weithredoedd yn ei swydd. Ni ddylai byth fyned dan draed yr eglwys, ac ni ddylai byth ei marchogaeth i gyrhaedd ei amcanion ei hun. Nis gwyddom pa un yw yr olygfa fwyaf truenus, ai gweled swyddog o dan draed eglwys, ai ynte gweled eglwys o dan draed swyddog. Ond yn hytrach na gwasanaethu ei amcanion ei hun, dylai swyddog eglwysig fod yn ei holl swydd yn oruchwyliwr Duw, a theimlo ei gyfrifoldeb i Dduw. Ond y mae yn gwestiwn pwysig, ac nid heb radd o betrusder yr ydym yn meiddio ei ofyn, A ydym fel swyddogion eglwysig oll yn ymdeimlo â'n cyfrifoldeb, ac yn ffyddlawn i rwymedigaethau ein swydd, er trefnu amgylchiadau yr eglwys yn y modd goreu, yn gystal ag er eangu ei therfynau? Y mae arnom ofn fod rhyw lwfrdra, neu ddifaterwch, neu y ddau, wedi ymdaenu drosom, fel na cheir ni oll yn ffyddlawn i holl rwymedigaethau ein swydd. Mewn ambell fan ceir y swyddogion yn eistedd yn ddigon boddlawn a thawel gyda llai na hanner cynnulleidfa, yn enwedig ar foreuau Sabbothau, tra y mae ugeiniau o fewn ychydig gannoedd o latheni i'r addoldŷ heb fod braidd un amser yn mynychu y moddion gydag un enwad. Y maent eu hunain yn mwynhâu y moddion, a rhoddent groesaw o'r fath ag ydyw eu croesaw i eraill pe deuent; hyny yw, caent le i eistedd ond talu am dano; ond nid ydynt hwy eu hunain am symud lled troed i wneuthur dim tuag at ddwyn yr esgeuluswyr i mewn. Deuant o'u parlyrau eu hunain i'r moddion yn bobl barchus iawn, ac fe allai o'u gwelyau, neu rhedant ar frys mawr oddiwrth eu gorchwylion. Deuant yno â'u holl agwedd càn oered â rhew, ac y maent mor ddiyni â'r meinciau yr eisteddant arnynt. Eu holl ofal ydyw fod y moddion yn cael eu cynnal gyda chysondeb a gweddusrwydd, deued a ddelo iddynt, a pheidied a beidio. Byddai yn dda genym allu meddwl ein bod yn lliwio yn rhy gryf; ond ofnwn ei fod yn rhy wir am ambell fan. Nid ydym yn meddwl fod pawb felly; ond onid oes perygl ein bod yn rhedeg yn rhy bell i'r cyfeiriad hwn, yn rhy foddlawn i aros ar bethau fel y maent, heb nemawr o ymdrech i ennill tir?

Yn awr y mae gan swyddog eglwysig rywbeth i'w wneyd heblaw gofalu am weinidogaeth gyson, a gofalu am fod yr holl foddion yn cael eu cynnal yn ddifwlch, a'u bod yn cael eu dechre a'u diweddu yn eu hamser, a chyda gweddeidd-dra—rhywbeth heblaw gofalu am fod y casgliadau yn cael eu gwneyd yn eu hamser, ac yn cael eu treulio yn briodol. Y mae hyn oll yn angenrheidiol, yn anhebgorol angenrheidiol, ond y mae eisieu ychwaneg. Ceir

'hai, y mae lle i ofni, heb fod yn enwog n y pethau hyn, ac heb nemawr ddim i vneyd i fyny am eu diffyg yn y cyfeiriad ıwn. Ond gofynir mwy oddiwrth swydd- ɡion eglwysig. Dylai pob cyfryw swyddog leimlo mai y peth pwysicaf iddo ef yw lwyddiant y gwaith, a bod y llwyddiant ıwnw yn dibynu i fesur mawr ar ei ffydd- ondeb ef i gyflawni rhwymedigaethau ei wydd; a dylai deimlo yn wastad ei wymedigaeth i ëangu y gwaith trwy ldwyn estroniaid i mewn, yn gystal ag i ldwyn y gwaith a ddechreuwyd ymlaen yn lrefnus ac heb golli tir. I'r amcan hwn lylai fod yn graff ei olygon, fel ag i allu anfod anghenion yr achos, a'i gydym- leimlad yn ëang, fel ag i allu cydymdeimlo phob ymdrech onest i wneyd y gwaith. Dylai fod yn wastad yn effro ei feddwl er nwyn cymeryd mantais ar bob cyfleusdra ëangu y gwaith; a dylai ei law fod yn vastad yn barod i wneyd pa beth bynag ıydd yn ymddangos yn anghenrheidiol. Dylai ei fryd fod bob amser ar lwyddiant y gwaith, a dylai ymaberthu yn llwyr er cyr- haedd yr amcan hwnw. Ni ddylai neb fod yn rhy wael yn ei olwg i'w ennill at yr achos. Mae yn wir na ddylid derbyn pob math o gymeriadau i'r eglwys; ond nid oes ın cymeriad yn rhy isel i geisio ei ennill. Ni ddylai swyddog fod uwchlaw myned i lai y tlotaf, a dylai ddangos fod iachawd- vriaeth y rhai mwyaf digymeriad yn ›wysig yn ei olwg, a dylai ei ymddygiadau uag at y cyfryw fod yn ennillgar. Dylai 'od yn siriol heb fod yn ysgafn, yn ddifrifol ıeb fod yn sur, yn *stern* heb fod yn haer- lug, yn ostyngedig heb fod yn wasaidd. Dylai fod yn zelog heb fod yn benboeth, yn ›wyllog heb fod yn ddifraw a difater. Dylai ei sylw fod ar bawb yn y gymydog- ıeth, heb fod yn *busybody* yn achos neb. Yr ydym yn enwi y pethau hyn am ein bod yn credu eu bod, i fesur mwy neu lai, yn ıanfodol i swyddogion eglwysig os mynent wyddo, yn enwedig gyda'r dosbarth sydd yn esgeuluso moddion gras. Pan yr oedd Mr. Charles o'r Bala un tro yn rhoi annog- ıeth i rywrai fod yn ffyddlawn i ymdrechu ıael rhai i'r Ysgol Sabbothol, a hyny pryd yr oedd llawer iawn o wrthwynebiad iddi, 'hoddai siars arbenig arnynt i fod yn lirion, diwyd, a di-ildio. Gwnai y cynghor yna y tro i ninnau yn y dyddiau hyn. Yr ıyn a allem ac a ddylem ei wneyd fel wyddogion yw, deffro o'n cysgadrwydd, ›wrw ein llwfrdra ymaith, a gwregysu ein lwynau â nerth i amaethu y tir sydd mewn ›erygl o fyned yn wyllt i ddwyn drain a nieri mewn ambell fan. Os mynwn ddal afael yn y wlad, ac ennill y rhai sydd yn sgeuluso, y mae yn rhaid i ni ein hunain ldeffro at ein dyledswydd yn gyntaf oll.

2. *Credwn y gallem ac y dylem roi mwy o waith i'n haelodau eglwysig yn y cyfeiriad hwn;* nid yn unig rhoi annogaethau cyff- redinol iddynt i lafur, ond rhoi gwaith pendant iddynt i'w gyflawni, a rhoi ar ddeall iddynt y dysgwylir iddynt o leiaf wneyd ymdrech egnïol i'w gwblhâu. Y mae cannoedd o'n haelodau eglwysig nad ydynt yn breuddwydio am wneyd dim gyda chrefydd eu hunain, ond dyfod i'r moddion, a rhai o honynt heb lawer o gysondeb yn hyny, a chyfranu ychydig, ychydig iawn, cân lleied y gallant o'r braidd, yn y casgliadau. Nid ydynt yn meddwl fod dim rhwymedigaethau arnynt hwy i wneyd dim arall, dim cymaint â myned yn athrawon yn yr Ysgol Sabbothol. Ac y mae eraill yn awyddus i wneyd rhywbeth, ond na wyddant yn iawn pa beth i'w wneyd, nac ymha le i ddechre. Credwn y dylem roi ar ddeall i'n haelodau y dysgwylir oddi- wrthynt rywbeth mwy na hyn, y dysgwylir iddynt fod yn aelodau mewn gwirionedd, yn rhai fyddo yn ymroddgar i wneyd gwaith yr efengyl. Y mae'r swyddog eglwysig i fod yn llawn cymaint o arolygwr ag ydyw o weithiwr. Y mae swyddog effro yn sicr o weled y gwaith sydd eisieu ei wneuthur, gwaith nas gall ef ei hun ei wneyd o bosibl, ac na ddylai yr eglwys ddysgwyl iddo ei wneyd. Ac hyd yn nôd pe gallai, ni byddai yn ddoeth bob amser iddo geisio ei wneyd ei hun. Nid y swyddogion hyny sydd yn gwneyd pobpeth eu hunain, er iddynt wneyd pobpeth yn y modd goreu, yw y rhai goreu ar les yr achos. Felly yn hytrach na rhanu yr holl waith rhyngddynt a'u gilydd, dylai y swyddogion roi rhywrai eraill o'r aelodau cyffredin ar waith i wneyd llawer o bethau; nid er mwyn dianc rhag y cyfrifoldeb eu hunain, ond er mwyn cael yr holl eglwys i weithio, a thrwy weithio dynu ati lawer o'r rhai sydd yn esgeuluso. Byddai yr aelodau eu hunain yn fwy zelog a chyson pe caent fwy o waith; teimlent ryw ddyddordeb yn yr achos nas gallant ei deimlo heb hyn; a byddai eu zel a'u cyson- deb hwy yn foddion gras i'w cymydogion mwy esgeulus. Y mae yr holl swyddogion i fod mewn gwirionedd yn *flaenoriaid;* y maent i flaenori yr eglwys mewn zel a gweithgarwch gyda'r achos; y maent i ragori yn hyn ar yr holl eglwys; ac y mae yr holl swyddogion i fod yn fath o esgob- ion, yn arolygwyr dros eglwys Dduw; nid i wylied rhag i'r aelodau wneuthur drwg, ond i'w harwain a'u cymhell i wneuthur da. Gallai ein haelodau eglwysig wneyd llawer iawn mewn ffordd o ddwyn y rhai esgeulus i'r moddion. Y mae Eglwys Rhufain ac Eglwys Loegr yn gwneyd llawer iawn o wasanaeth y merched, yn eu hanfon i ym- weled, ac i wneyd llawer o waith yr efengyl yn y wêdd hon. Paham nas gallwn ninnau gymeryd dalen o'u llyfr, a manteisio

ar eu profiad hwy? Y mae ein haelodau eglwysig yn wasgaredig dros y wlad, a rhywrai o honynt yn gymydogion i bawb sydd yn esgeuluso, a rhai o honynt yn berthynasau iddynt; ac oni ddylem roi ein haelodau ar waith er cael y rhai hyn i'r moddion? Credwn y dylai fod genym gyfundrefn o ddysgyblaeth fwy manwl, trwy ba un y gellid galw ar bob aelod eglwysig i wneuthur rhywbeth o'r fath gyda'r achos. Siaredir llawer o bryd i bryd am y dull goreu o gadw *society*. Credwn y gallem wella llawer cyfarfod eglwysig pe gwnaem ef yn fwy o gyfarfod i ddysgyblu, hyny yw, o *trainio* i waith, nag y mae—yn gyfarfod i fwrw golwg dros anghenrheidiau y gwaith, ac i neillduo rhai i gyflawni gwahanol orchwylion am dymmor, ac i gael cyfrif ganddynt o'r hyn y ceisiasant ei wneyd. Dyma un o'r gorchwylion penaf a blaenaf: gofalu na bo neb yn esgeuluso un moddion o ras, a dylai yr holl aelodau fod yn weithwyr difefl yn hyn. Gelwir hi yn *seiat brofiad;* ond pa brofiad uchel iawn a ellir ddysgwyl oddiwrth ddynion na theimlasant un rwymedigaeth enaid i gyflawni dim o ddyledswyddau cymdeithasol crefydd, ac o ganlyniad na wnaethant un ymdrech yn y cyfeiriad hwn? pa brofiad a ellir ddysgwyl oddiwrth ddynion na welsant erioed ddigon o ogoniant yn Mherson y Gwaredwr fel ag i ymgysegru i'w wasanaeth? Y mae profiad bob amser i'w gael ynglŷn âg ymdrech a llafur. Yr ydym weithiau yn dysgu athrawiaethau crefydd yn y *society;* ac y mae yn lle cyfleus iawn i hyny; ond ni all hyn byth gyrhaedd ei amcan uchaf gyda'r aelodau os na wna eu cynhyrfu, fel y gwnai yr apostol Paul yn ei lythyrau, i roi yr athrawiaethau gogoneddus hyny mewn gweithrediad yn eu bywydau. Credwn y dylem ac y gallem, trwy foddion doeth, gynhyrfu mwy o ysbryd gwir genadol fel hyn yn ein heglwysi, fel ag i fyned ar ol yr esgeulus, a'u dwyn o leiaf i wrando yr efengyl.

3. Credwn y *dylai fod genym fwy o gyfarfodydd yn y tai ar hyd y cymydogaethau, yn enwedig rhai anghysbell a mynyddig;* a thybiwn y byddai hyn yn foddion arbenig i ennill y rhai sydd yn esgeuluso; o leiaf y mae wedi bod felly yn yr oes a aeth heibio. Paham y rhaid i'n holl gyfarfodydd fod bob amser yn yr addoldai, yn enwedig yr Ysgol Sabbothol a'r cyfarfodydd gweddïau? Paham nad ellid cynnal nifer o ddosbarthiadau o'r Ysgol Sabbothol mewn tai ambell i Sabboth, ond i hyny gael ei wneyd dan arolygiaeth yr eglwys a'r swyddogion? A geid y swyddogion oll yn gefnogol i hyn pe cai rhyw aelod cyffredin ar ei galon wneyd daioni yn y cyfeiriad hwn? Y mae arnom ofn, oddiwrth bethau a welsom rai gweithiau, mai gwgu ac ystormio y byddai ambell flaenor ar bob cais o'r fath. Ac yn enwedig paham nas gallai ambell ardal wasgarog, anghysbell, gadw tri neu bedwar o gyfarfodydd gweddïau ar nos Sabboth, mewn cynifer a hyny o dai yn y gymydogaethau, yn hytrach nag un cyfarfod yn y capel? Cai mwy o'r aelodau felly arfer eu doniau yn gyhoeddus nag y mae yn bosibl yn bresennol, a hyny yn fwy mynych. Nid ar ei mantais y mae'r eglwys hono nad yw ei haelodau yn cael arfer eu doniau yn gyhoeddus ond rhyw ddwy neu dair o weithiau yn y flwyddyn. Byddai hefyd yn haws gan ddynion ieuainc wneyd mewn lleoedd felly nag ar g'oedd cynnulleidfa fawr yn y capel; ac effeithiai hyny yn dda ar eu hysbrydoedd hwy eu hunain. A pha niwed fod ambell un o'r hen chwiorydd duwiol yn anerch gorsedd gras ar achlysuron o'r fath? Byddai rhai o'r bobl ieuainc yn cael fel hyn arfer eu doniau mewn dechre canu, ac fe allai ambell un fod yn *apprentice* o flaenor am flynyddoedd cyn ei ddewis i'r swydd gan yr eglwys. Yn awr rhai heb feddwl am y swydd a ddewisir iddi bron yn ddïeithriad; hwyrach y ceid rhai y pryd hwnw wedi meddwl am dani, ac wedi eu *trainio* iddi. Yr ydym yn sicr y cai ambell un hen, a rhai plant, trwy hyn foddion crefyddol ar nos Sabbothau, pryd y byddai pellder ffordd, anhygyrchedd llwybrau, a thywyllwch y nos, yn rhwystro iddynt fyned i'r capel; a diau genym y llithrai ambell un sydd yn dra esgeulus o'r moddion yn y capel i ambell gyfarfod o'r fath ond ei gael bron yn ymyl drws ei dŷ. Yn wir, gallai cymydogion wahodd eu gilydd i gyfarfodydd o'r fath. Dyna a fyddai yn gyflawniad o brophwydoliaeth Zecharïah; "Bydd eto yr â preswylwyr y naill ddinas [dŷ] i'r *llall*, gan ddywedyd, Awn gan fyned i weddïo ger bron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd. Minnau a âf hefyd." Pe byddai cyfarfodydd o'r fath yn amlach, a phobl yn gwahodd eu gilydd iddynt, deuai aml un digon esgeulus i ddyweyd, "Minnau a âf hefyd." A gellid weithiau o bosibl fyned â'r cyfarfodydd hyn i dai y rhai esgeulus; a phwy a ŵyr pa flas a bendith a gaent trwy foddion o'r fath! Credwn hefyd ein bod ar ein colled na byddai genym fwy o bregethu yn y tai ac nosweithiau yr wythnos; rhyw gyfarfodydd cartrefol, heb fod mor ffurfiol a'r rhai yn yr addoldy. Bu y diweddar Foulk Evans yn pregethu bron ymhob tŷ yn Llanuwchllyn, a llawer gwaith yn rhai o honynt; a dydd y farn yn unig a ddengys pa faint o ddaioni a wnaeth trwy hyny. Paham nas gallwn ninnau gael y fraint hon weithiau, a hyny heb na thâl na diolch, yn enwedig o amgylch ein cartrefi,

lle y gallwn fyned heb golli llawer o'n hamser, nac esgeuluso dim o'n dyledswyddau eraill? Bron na ddywedwn, "Treiwch ni." Pwy a ŵyr na cheid o hyd i rai sydd yn esgeuluso trwy y moddion hyn?

4. Credwn hefyd y *dylai ein cyfarfodydd fod yn fwy deniadol nag y maent yn aml.* Na chamgymered neb ni. Ni fynem wneyd ein haddoliad yn rhywbeth cywrain, *elaborate*, fel y gwna y Defodwyr ef, na dim a fo yn ymylu ar wneyd yr addoliad yn ddim ond *entertainment.* Po symlaf y byddo defodau addoliad, cymhwysaf oll ydynt er cyrhaedd yr amcan mawr drwyddynt. Ni fynem ychwaith weled dim yn dyfod i'n cyfarfodydd crefyddol a allai dynu dim ar eu hurddas i lawr, na rhoi gwêdd arnynt a barai i bobl feddwl eu bod yn amgen na chyfarfodydd addoli a moddion o ras. Nid ŷm heb ofni fod y *Salvation Army* gyda'r holl yni, y zel, a'r bywyd sydd yn eu nodweddu, yn euog—yn ddifwriad mae'n ddiau—o dynu urddas addoliad Duw i lawr trwy ryw bethau sydd yn nodweddu eu cyfarfodydd. Rhy brin y gall pob peth a welir yn eu gwasanaeth fod yn foddion o ras. Ond dichon ein bod ninnau yn gogwyddo yn rhy bell i'r ochr arall. Wrth geisio cadw urddas y gwasanaeth i fyny, gall fyned yn oer a difywyd yn ein dwylaw. Nid ydym yn credu fod yn rhaid iddi fod felly. Dichon y gallem, trwy ychydig feddylgarwch ac ymdrech, wneyd y moddion yn fwy dyddorol a deniadol. Ni fynem eu gweled yn gyfarfodydd i chwerthin; ac er y gallwn fwynhâu llawenydd cystal a neb, blin iawn fydd genym weled ambell bregethwr, ac ambell flaenor, pan godant ar eu traed i siarad, yn cyflawni y gwasanaeth a geisiai y Philistiaid gan Samson, peri i'r oll chwerthin, a hyny yn yr addoliad. Ond dichon y gallem wneyd ein cyfarfodydd yn fwy deniadol, heb dynu oddiwrth eu difyrwch a'u hurddas. Nid yw fod cyfarfod yn cael ei alw yn gyfarfod crefyddol, ac yn foddion gras, yn peri o angheurheidrwydd y rhaid ei fod yn gyfarfod trymaidd, dwl, annyddorol, ond yn hollol wahanol. Credwn fod teimlad o ddyddordeb dwfn yn hanfodol i wir ysbryd addoli. Ac oni ddylem ymdrechu i fagu a meithrin yr ysbryd hwn yn y rhai a ddelont i'r moddion? Paham y rhaid i'r cyfarfodydd gweddïau fod bob amser yn yr un dull ystrydebol; canu, darllen mwy neu lai o adnodau, weithiau bennod faith yn hwyrdrwm a gwallus, nes fod amynedd y gynnulleidfa bron ar ben, ac yna gweddi faith, amleiriog, fel tôn gron, bedair neu bump o weithiau yn yr un cyfarfod, a phob cyfarfod yn ddelw fyw neu farw o bob cyfarfod arall? Paham y rhaid i ni bob amser fyned drwy yr un ffurfiau yn gymhwys ymhob odfa? Paham nas gallwn amrywio yn y gwasanaeth dechreuol weithiau, heb fod mewn perygl o gael ein cyfrif yn òd? Paham y rhaid cymeryd testun bob amser? Oni fyddai yn gyfnewidiad hapus weithiau i ni gymeryd pwnc i fyny, neu bregethu ar lawer o adnodau, neu ar ambell ddarn o bennill? Oni ddylem ymgeisio at wneyd y moddion yn ddeniadol a dyddorol i'r rhai sydd yn dyfod iddynt, a hyny weithiau, os bydd raid, ar gôst myned ar draws ffurfiau sefydlog? Onid oes duedd ymhob ffurfiau i fyned yn raddol yn feichus, os dygir hwy ymlaen yn wastadol yn yr un dull, ac yn enwedig os bydd y dull hwnw yn amddifad o fywyd? Rhaid fod rhyw wrês anghyffredin yn ysbrydoedd yr addolwyr i beri nad yw ffurfiau sefydlog yn myned yn faich ac yn annyddorol iddynt. Pe gallem eu gwneyd yn fwy deniadol a dyddorus, a hyny heb ymadael oddiwrth wirionedd, symlrwydd, ac urddas yr efengyl, credwn y byddai llai o achos cwyno o herwydd esgeulusdra.

Ond yn goron ar y cwbl, *rhaid i ni gael tywalltiad o'r Ysbryd Glân.* Rhaid llanw ein calonau ni ein hunain â'r Ysbryd Glân, ac yna llifeiriai oddiar y swyddogion ar yr eglwys, ac oddiar yr eglwys ar y byd. Byddai fel yr enaint Dwyfol ar y pen, yn disgyn ar hyd barf Aaron, ac oddiyno ar hyd ymylon ei wisgoedd ef. Dyma a lanwai ein haddoldai âg addolwyr defosiynol. Gwnai hyn y byddai yn haws dyfod i'r moddion nag aros gartref. A gallwn gael y tywalltiad hefyd ond gofyn am dano, gan fod Duw bob amser yn barotach i roi ei Ysbryd nag ydym ni i ofyn am dano. Dyma'r peth byw oedd yn ngweinidogaeth ein tadau, ac a gododd ein gwlad gynt i wrando yr efengyl; a chael hwn eto yn ein gweinidogaeth ninnau a'i llanwai âg elfenau llwyddiant. Rhaid cael yr eglwysi i weddïo drosom. Pe byddai mwy o weddïo dros y weinidogaeth, a llai o ysgriblo yn y papyrau newyddion, byddem yn llawer tebycach o ennill yr esgeulus. Cynhyrfwn ein heglwysi i dosturio dros eu cig a'u gwaed eu hunain; ac er mwyn eu trugaredd hwy erfyniwn am y drugaredd hon. Prophwydwn fel Ezeciel tua'r gwynt, a chawn weled esgyrn sychion eto yn codi ar eu traed yn ddynion byw, yn llu mawr iawn.

---

## Y GWYLIEDYDD, BETH AM Y NOS?

*Gan y Parch.* Hugh Roberts, *Rhydymain, Dolgellau.*

Yn Nghymdeithasfa y Gwanwyn yn Llanfyllin eleni, ar ol gwrando adroddiad rhag-

orol am ansawdd yr achos yn y Rhan Isaf o Sir Drefaldwyn, gwnaed crybwylliad gan y Parch. J. Hughes, D.D., am ddywediad o eiddo y diweddar Barch. Henry Rees am Gymru ychydig cyn ei farwolaeth. Y dywediad oedd hwn: "Marciwch chwi, os byddwch byw am dipyn o amser, chwi a welwch ymadawiad mawr oddiwrth yr efengyl yn Nghymru." Yr oedd dywediad o'r fath oddiwrth Mr. Rees yn haeddu ystyriaeth ddifrifol, rhag y gall fod mesur o wir yn y cyfryw sylw sylw difrifol. Nid ei ddyweyd yn ysgafn heb ei feddwl a'i deimlo yr oedd efe, nid ei ddyweyd ar antur o dan deimladau yr henwr, y rhai a ddysgant fod y pethau gynt yn well na'r pethau sydd, — ond ei ddyweyd oddiar ddwys ystyriaeth o beryglon y wlad ac achos Mab Duw ymysg ei gydgenedl, lles pa un a garai mor fawr, ac at ba un y teimlai ymlyniad angerddol. Yr oedd Mr. Rees, heblaw bod yn weinidog yr efengyl, yn un o'r gwyliedyddion a osododd yr Arglwydd ar furiau Jerusalem yn Nghymru, ac fel y cyfryw yn meddu llygad i weled a chalon i deimlo gyda golwg ar lwyddiant yr achos yn y dyfodol. Ni buasem ni yn rhoddi ond ychydig o bwys ar y dywediad pe buasai yn dyfod oddiwrth rai tueddol i ddyweyd cyfryw bethau er mwyn cael rhywun yn rhywle i osod pwysigrwydd arnynt hwy oblegid eu bod yn prophwydo; ond yn ein byw y gallwn wthio y dywediad o'n meddwl er pan y syrthiodd gyntaf ar ein clust, oblegid iddo gael ei adrodd gan un o bwysau cymeriad Mr. Rees. Y fath un yn sicrhâu fod ymadawiad mawr oddiwrth grefydd i gymeryd lle yn Nghymru! Pa sail oedd gan y gŵr Duw hwn i ddyweyd peth fel hyn? a oedd efe wedi cael rhyw air oddiwrth yr Arglwydd yn fwy uniongyrchol na chyffredin mewn ffordd o gennadwri i'r Cymry? ai prophwydo ar y tebygolrwydd yr oedd. Nid oes arnom ofn methu wrth ddyweyd ei fod yn byw yn ddigon agos at yr Arglwydd i gael y cyntaf. Y mae yr Arglwydd yn dyweyd gryn lawer o'i gyfrinach wrth y rhai sydd yn byw yn agos ato. "Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda'r rhai a'i hofnant ef, a'i gyfammod hefyd i'w cyfarwyddo hwy." Ni buasem yn meddwl fawr lai o'r dywediad pe buasai wedi dyfod o hyd iddo trwy y tebygolrwydd; oblegid y mae dynion craffus mor sicr o ddyfod o hyd i'r gwirionedd y ffordd hono â phe buasai Duw yn llefaru wrthynt yn uniongyrchol. Rhybuddiai ein Harglwydd yr Iuddewon am y dinystr a'u goddiweddai trwy alw eu sylw at arwyddion. Yr oedd efe ei hunan yn arwydd y prophwyd Jonas iddynt. Diau mai gweled arwyddion trychineb yr oedd pan yr wylai dros Jerusalem. Yr oedd ei feddwl sanctaidd yn adnabod meddwl ei Dad ymhob man. Yr oedd efe yn adwaen dyn drwyddo, ac yn adnabod pob dyn felly, ac y mae rhyw synwyr anarferol i adnabod pethau a phersonau gan y rhai sydd yn meddu yn helaeth o'i ysbryd ef. Y mae y dyn "ysbrydol yn barnu pob peth, ond efe nis bernir gan neb." Y mae "yr eneiniad oddiwrth y Sanctaidd hwnw" gan ddynion duwiol. Golyger fod dyn o'r nodwedd yma wedi cael ei osod gan yr Arglwydd yn wyliedydd: ac yn wir, yr oedd Mr. Rees felly. Wele ddyn duwiol iawn wedi ei osod mewn lle manteisiol i weled pa fodd bynag.

Ond, attolwg, pa beth a welodd efe yn y dyfodol tywyll am Gymru fawr ei breintiau? Ai adfywiad mawr, grymus, a chyffreniol, i ddeffro y genedl o bob oedran a chyflwr, ac i godi pris pethau yr efengyl yn eu golwg? Nage; yn hytrach ymadawiad mawr oddiwrth grefydd a ragwelodd efe. Ni chamgymerem pe y dywedem ei fod yn gweled y trychineb mwyaf allasai oddiweddyd ein cenedl; trychineb y dylem grynu yn ein lle rhagddo yn fwy na phe buasai newyn neu haint neu gleddyf yn dyfod arnom, am ei fod yn fwy arswydus ei ganlyniadau. Ymadawiad oddiwrth grefydd ydyw. Gallasai unrhyw genedl anturio gyda chrefydd dda i gyfyngder profedigaethus prinder cynnaliaeth y corff, a dywedyd gyda Habaccuc, "Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwydd, gwaith yr olewydd a balla, a'r meusydd ni roddant fwyd, torir ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni bydd eidion yn eu beudai, eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Gallai wneyd yn well gyda'i chrefydd a'i Duw mewn tlodi, cyni, a therfysg, nag mewn llawnder ac ëangder hebddynt. Yr efengyl sydd wedi cadw ein cenedl a'n hiaith ni. Buasem ymhell cyn heddyw wedi ein hebargofi mewn dinodedd yn hanes y byd oni buasai am ein crefydd. Fe roddodd Duw grefydd i Gymru. Efe a'i rhoddodd trwy ddeffroadau mawrion. Do, efe a'i rhoddodd trwy y Diwygiad Methodistaidd. Yn yr adfywiad mawr hwnw, deffrowyd ein cenedl o gysgadrwydd llawer oes, ac fe'i hadgenedlwyd i Dduw trwy yr efengyl. Megys y mae gyda phersonau neillduol, felly y mae hefyd gyda chenedl yn gyffredinol. Pan y bydd rhywun wedi yfed yn helaeth o ysbryd diwygiad, odid fawr na bydd tinc y diwygiad ynddo am amser maith, ac y bydd yn hawe iddo wedi hyny ei ail gael. Y mae cenedl yn gyffelyb. Y mae tinc y diwygiad Methodistaidd yn ein cenedl ni, ac y mae wedi ei ail gael lawer gwaith bellach. Gall y pulpud Cymreig er y diwygiad hyd yn awr ddal cystadleuaeth â'r uchaf ar y

ddaear o ran ei fater a'i ddoniau. Nid ydym yn sicr yn cymeryd golwg rhy ffafriol. Ymha le y ceir defnyddiau o deilyngdod llenyddol a duwinyddol uwch na phregethau y diweddar Barchedigion Henry Rees ac Edward Morgan? Os byddai dydd gwyl neu newydd loer, rhaid oedd cael cyfarfod pregethu a chael yr udgyrn arian, a deuai torfëydd i'w gwrando, megys pe gwelech y Saeson yn myned i'r *Derby Races;* ac y mae felly eto i fesur helaeth. Gwell gan y Cymry gael eu mwydo â gwlith bendith efengyl y tangnefedd am ddiwrnod na myned i'r rhedegfëydd. Y mae chwaeth y genedl at ddifyrwch yn grefyddol.

Ac nid yn unig y mae ei chrefydd wedi codi cenedl y Cymry o ran ei chwaeth at ddifyrwch, ond y mae wedi ei dyrchafu yn fawr mewn ystyr foesol. Nid eithriad yw i farnwyr y llysoedd barn fyned trwy eu cylchdeithiau heb achos Cymreig o gwbl i'w brofi. Dylanwad iachusol yr efengyl ar feddyliau y trigolion yw yr achos o hyn; dylanwad Protestaniaeth bur a gonest, Protestaniaeth fyw yn ei gwaith trwy ddiwygiadau ac ymdrech y tadau. Ni raid ond edrych dros y culfor am eiliad ar ein chwaer-ynys na welir y gwahaniaeth yn ngwerth ein crefydd, ynghydag edrych ar hanes ein gwlad cyn y diwygiad Methodistaidd, yr hon oedd yn llawnach o ymrysonau, anghydfyddiaethau, a thywallt gwaed nag ydyw yr Ynys Werdd heddyw. Mae Pabyddiaeth fel rheol yn gadael trigolion gwlad yn waeth eu moesau na Seculariaeth a Phaganiaeth—mwy o benboethni anfoesol; ond am Brotestaniaeth gyda'i hysbryd, y mae yn newid ansawdd foesol gwlad, ac yn ei dyrchafu yn raddol i sefyllfa uwch o foesoldeb. Y mae felly oblegid ei bod yn nês i'r Bibl.

Edrychwn pa beth yw yr ymadawiad dan sylw. Ymadawiad yw gwrthgiliad oddiwrth grefydd, cenedl o bobl yn colli cydymdeimlad â'r grefydd a roddwyd iddi, megys y collodd cenedl Israel ei chydymdeimlad â chrefydd eu tadau. Mae yn ymadawiad yn y lle cyntaf âg uniongrededd Protestaniaeth. Yn ail, yn ymadawiad oddiwrth egwyddorion crefydd ysbrydol, sef ffydd, gobaith, a chariad. Yn y trydydd lle, ymadawiad oddiwrth foesoldeb Cristionogaeth. Ac yn yr oll o'r pethau yna y mae yn ymadawiad oddiwrth Dduw. Y mae yr athrawiaeth uniongred am Dduw yn Un ac yn Dri,—am ddyn yn y ddwy wedd ar ei gyflwr trwy bechod, sef euog a halogedig,—ac am Grist yn Dduw ac yn ddyn, nid yn ddau ond un, a'r un hwnw yn Gyfryngwr addas rhwng Duw a dynion, — mae yr athrawiaeth hon, a'r ffrydiau a darddant o honi, fel yr afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel y grisial, yn dyfod allan o orseddfainc Duw a'r Oen, a bywyd yn ffynu pa le bynag y rhed. Wrth ymadael oddiwrth yr athrawiaeth uniongred, onid ydym ar ben y ffordd i ymado âg ysbrydolrwydd crefydd? ac wrth ado ysbrydolrwydd crefydd onid yw moesoldeb yn myned yn ammheus? a phan yr êl y moesoldeb yn ammheus, onid yw hyn yn brawf amlwg fod dyn wedi gadael Duw?

Crefydd heb ffydd, dyna Babyddiaeth; crefydd heb gariad, dyna Antinomiaeth; crefydd heb ras o gwbl, dyna Seculariaeth; crefydd a gweithred, y naill mor anhebgorol a'r llall, dyna Brotestaniaeth. Wrth adael Protestaniaeth, os nad ydym yn debyg o fyned yn ddigrefydd yr ydym yn debyg o golli pobpeth sydd o werth a chysur mewn crefydd; yr ydym yn sicr o golli hanfod crefydd. Pa werth sydd mewn gau grefydd? Pa gysur a all crefydd heb wirionedd ynddi roddi pan y cyrhaeddo'r waedd hanner nos ni, a phan y bydd eisieu trwsio y lamp? Y siomedigaeth fwyaf ydyw y siomedigaeth oddiwrth grefydd; yr ymddiried mwyaf profedigaethus ydyw ymddiried mewn twyll. Pa gysur fydd i Gymro fyw rhwng y bryniau moelion llwydion yma, tra yn ymddiried mewn twyll, a marw yn annuwiol? Wrth adael gwirionedd, ac ymddiried mewn twyll, yr ydych â'ch gwyneb ar anialwch gwag erchyll, anialwch nad ellir yn hawdd ddyfod allan o hono, anialwch lle nad oes fara o'r nef i'w fwyta, na dwfr o'r graig i'w yfed, anialwch lle mae seirph tanllyd temtasiynau yn brathu, heb yr un sarph bres i edrych arni am feddyginiaeth; anialwch lle mae gelynion ar bob llaw ac heb un Moses i weddïo, ac heb yr un Duw i wrando. Twyll ydyw Pabyddiaeth, a thwyll ydyw Seculariaeth; ond yr ydym ni mewn mwy o berygl oddiwrth Seculariaeth nag oddiwrth Babyddiaeth. Nid yw Seculariaeth yn gweled anghen o gwbl am unrhyw ymdrech ar ran dyn yn nghyfeiriad crefydd, ac ynfytyn ydyw y dyn a amddifada ei hun o unrhyw bleser oblegid credu unrhyw beth. Y mae ein cenedl ni mewn perygl y fynyd yma oddiwrth ysbryd melldigedig Seculariaeth. Y mae llawer o hono ymhob dyn wrth natur; mae yn un o'r teimladau cyntaf y mae dyn yn cael ei hunan dano fel creadur llygredig. 'Rhoddwch i mi bleser, a pheidiwch aflonyddu arnaf yn y mwynhâd o hono gyda y syniad o fy mod yn gyfrifol i Dduw,'—y mae addysg trwy y wasg Seisonig yn dwyn ymborth i'r teimlad hwn erbyn hyn yn y cyflawnder o hono. A'r hyn sydd yn gwneyd hyn yn waeth, ac yn rhoddi achles i duedd yr ieuanc at Babyddiaeth ar un llaw, a Seculariaeth ar y llaw arall, ydyw y diogi a'r difaterwch sydd i'w ganfod ymysg y rhai mewn oed gyda'u crefydd. Y mae'r

difaterwch at foddion gras, y diffyg zel dros bethau cysegredig, a'r diogi meddyliol gyda darllen a myfyrio pethau y deyrnas, yn profi i feddyliau y tô sydd yn codi nad ydynt yn gweled gwerth ynddynt. Y mae yn rhaid i'r ieuainc gael dynion yn zelog dros bethau eu dyddordeb am eu bod hwy felly.

Edrychwn am fynyd ar y manau lle y mae y cyfryw ymadawiad yn ffaith. Edrychwn ar ranau o Germany a Ffrainc —lleoedd y mae'r Sabboth yn cael ei halogi a gwirioneddau y Bibl yn cael eu gwatwar, y canol oed yn rhedeg yn anniwall ar ol y byd, yr ieuenctyd yn rhedeg fel rhai ar eu cythlwng ar ol duwies pleser, y capelydd wedi myned yn weigion, y *saloons* a'r chwareudai yn llawnion, a phawb yn dyweyd yn eu hymddygiad wrth Dduw a chrefydd, "Cilia oddiwrthym, canys nid ydym yn ewyllysio gwybod dy ffyrdd." 'Peidied neb a son wrthym am dragywyddoldeb, ac am wobr a chosb; gadawer ni i fyw fel anifeiliaid, pa beth bynag fydd ein tynged ni wrth farw; peidiwch a phoeni eich hunain a'n poeni ninnau. Nid ydym yn caru meddyliau difrifol, nac yn credu dim yn Nuw a Christ a'r farn o gwbl.'

Ar ol crybwyll y dywediad o eiddo Mr. Rees, gofynai y gŵr parchedig, "A ydyw yr ymadawiad hwn wedi dechre? Neu ynte a oes yn yr eglwysi gymaint o archwaeth at bethau crefyddol a chymaint o brofiad ysbrydol ag a welwyd?" Y mae lle i ofni ei fod wedi dechre, ond ei fod yn dyfod yn raddol ac mor anweledig â phenwyni. A ydyw yn wir fod Cymry, plant i rieni crefyddol, yn nhrefi Lloegr ar nos Suliau yn myned i wrando ar anffyddiaid yn areithio yn lle myned i dŷ Dduw i addoli, ac yn myned mor benboeth â neb yn y fath gyfarfod cyn pen nemawr o amser, pryd mai pleser penaf y cyfryw ydyw cael rhyw *argument* yn erbyn y Bibl a'i wirioneddau? Ai gwir yw fod ymhlith Cymry bellach, fel ymysg y Saeson, ddosbarth o ysgoegiaid *(fops)* crefyddol nad ydynt wedi gweled gwerth erioed mewn dim ond hwy eu hunain? Y *mysterious number one* yw eu duw. Onid yw Eglwys Loegr yn Nghymru wedi myned yn llawer pellach na hanner y ffordd i Rufain? Onid yw athrawiaethau Pabaidd yn cael eu pregethu o'i phulpudau, ac ystranciau Pabaidd yn cael eu harfer wrth ei hallorau? Beth fydd diwedd y difaterwch at foddion gras a welir, y rhyddid a gymerir ar ddydd yr Arglwydd, gan y tô sydd yn codi—y diffyg cydymdeimlad â llafur, a'r cariad at y canu gwagsaw a'r barddoni diles—onid yw y pethau hyn yn arwyddion fod y mwynder yn ymado fel cwmwl y bore, ac fel gwlith boreuol?

Y cwestiwn naturiol ydyw, Pa beth sydd genym i'w wneyd? Y peth cyntaf i ni ydyw deffro. Yr ydym oll wedi myned i gysgu. Dyna a ddywedai yr Arglwydd wrth Israel, "Deffro, deffro, gwisg dy nerth, Sïon; gwisg wisgoedd dy ogoniant, sanctaidd ddinas Jerusalem." "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu," medd Paul, "a chyfod oddiwrth y meirw, a Christ a oleua i ti." Ac os na fedrwn ni ymddadebru o'r cysgadrwydd hwn, awn at y Meddyg a ddichon yn gwbl iachâu. Yr wyf fi yn sicr o un peth: pe disgynai ar Gymru un tywalltiad grymus a chyffredinol y byddai deffröad mawr ynddo, y teflid y dydd drwg ymhellach. Pe delai yr Ysbryd Glân yn ei nerthoedd i'r wlad, ni byddai dim gobaith i anghrefydd na gaugrefydd lwyddo, a gwelid gwedd well ar yr achos goreu. Gadewch i ni ddeffro i alw yn lew ar Dduw, ac i'w wahodd ef at ei waith, fel y byddo gogoniant yr Arglwydd a'i arswyd yn llenwi y wlad.

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

### PENNOD IX.

*Ymweliad mwy nag un Perthynas.*

Pe gwybuaswn cyn dechre ysgrifenu fy hunangofiant y chwyddasai i'r fath faintioli, mae yn ammheus genyf a fuaswn yn ymgymeryd â'r gwaith o gwbl. Wele fi wedi ysgrifenu ugain o bennodau—rhai o honynt yn hirion a chulion—ac nid ydwyf eto ond megys yn rhoi min ar fy mhensil. Yr wyf wedi dyweyd cymaint o bethau ar draws ac ar hyd fel nad ydwyf yn cofio a ddarfu i mi o'r blaen fynegu yr hyn yr wyf yn ei deimlo wrth ysgrifenu pob pennod ymron, sef fod yma ryw ormod toraeth o'r "myfi" a "fy mam" a "fy mrawd," ac "ebe hi," ac "ebe fi," ac "ebe fe;" yr hyn, pe cyhoeddasid y gwaith, a fuasai yn ddiammheu yn clafeiddio y darllenydd. Ond pa help sydd genyf? Yn gymaint ag i mi ddechre ar y gwaith, nid ydwyf yn teimlo yn foddlawn iawn ei adael heb ei orphen, yn enwedig gan nad ydwyf wedi cyffwrdd â rhai o brif ddygwyddiadau fy mywyd.

Waeth heb ragrithio na gwneyd arddangosiad o ledneisrwydd melfedaidd—y ffaith ydyw fod fy mrawd Bob yn arwr ymhlith gweithwyr y Caeau Cochion. Er fod ei

iaith, ei fuchedd, a'i arferion yn gwbl wahanol i eiddo y mwyafrif o honynt, yr wyf yn berffaith sicr pe yr aethent i ddewis brenin o'u mysg eu hunain mai fy mrawd Bob a fuasai yr etholedig deyrn. Y mae yn ffaith gwerth sylwi arni fod dealltwriaeth, purdeb buchedd ac ymarweddiad, yn hwyr neu yn hwyrach, yn ennill edmygedd y dynion mwyaf dibris ac annuwiol. Yr oedd Bob oddiar pan oedd yn dair blwydd ar ddeg oed yn gweithio yn y Caeau Cochion, ac ni chlywodd clust regfa yn disgyn dros ei wefusau. Buan y deallwyd gan ei gydweithwyr ei fod yn ddarllenwr, ac ar adeg pryd bwyd appelid ato am newyddion. Yr oedd ganddo gof ardderchog a thafod llithrig; a phan nad ydoedd efe ond hogyn, difyrai galonau llawer hŷn na'r eiddo ef wrth oleuni Llusern Dewi yn mherfeddion y ddaear. Pan dyfodd i fyny yn ddyn, cafodd ei hunan yn un o arweinyddion ei gydweithwyr; ac er nad allai efe, mwy nag y gallasai rhywun arall, lywodraethu torf gynhyrfus o löwyr, eto edrychid arno yn gyffredin fel eu cynghorwr. Yn ystod yr amser yr oedd Abraham yn stiward, ar Bob y rhoddai efe ofal y gwaith pan ddygwyddai fyned oddicartref. Nid rhyfedd, gan hyny, wedi i Abraham ail-ymgymeryd â'i swydd, fod hen gymdeithion fy mrawd yn edrych gyda dyddordeb ar yr adeg y byddai efe yn dyfod o'r carchar. Er nad oedd ond ychydig ddyddiau er pan ddechreuaswn "weithio" gydag Abel Hughes yn y siop, darfu i'r hen ŵr yn garedig roddi i mi *holiday* i longyfarch fy mrawd ar ei ddychweliad gartref. Dysgwylid ef gyda'r trên canol dydd; ac er yn fore yr oedd fy mam yn gynhyrfus a *nervous* yn glanhâu y tŷ ac yn parotoi derbyniad croesawgar iddo. Ebe hi,

"Yr ydw i er ys meityn yn ceisio dyfeisio be gawn ni yn damed i'r bachgen yma erbyn y daw o. Mae nhw'n deyd os caiff rhwfun fydd newydd ddŵad allan o'r *jail* fwyd rhy drwm yr aiff o'n sâl. Mae o'n taro i'm meddwl i'r fynyd yma y bydde Bob yn ffond ryfeddol o gacen gyrans; ac er mwyn iddo gael rhyw ammheuthyn, a rhwbeth na neiff o ddim pwyso arno fo, yr ydw i'n meddwl na chae o ddim byd gwell na phaned o dê a chacen. Os rhedi di i'r siop i nol gwerth tair ceiniog o'r peillied gore, dimewerth o gapten sodo, a chwarter o gyrans, fydda i dro yn 'i gneyd hi."

Parod iawn oeddwn i wneyd fy rhan o'r gwaith, gan fod fy nhueddiadau innau fel yr eiddo Bob yn lled ffafriol i'r gradell. Yr oedd y llestri te ar y bwrdd, y deisen wedi ei chrasu, a'r dwfr yn tegell wedi berwi ac oeri lawer gwaith drosodd ymhell cyn yr adeg yr oedd y trên yn ddyledus. Yr oeddwn innau yn y *station* o leiaf hanner awr cyn yr amser; a chware teg i Wil Bryan yr oedd efe yno o fy mlaen. Yn fuan iawn wele ddegau o'r glöwyr ysgwyddog ar y *platform*, â'u hysbrydoedd a'u lleisiau yn uchel. Rhai o honynt a roddent eu llaw o dan fy ngên yn anwesgar, eraill a dynent yn fy ngwallt a'm clustiau—gyda'r amcan goreu wrth gwrs; ac eraill a roddent i mi geiniog. Gwell oedd genyf y rhai olaf. Edrychai Wil braidd yn genfigenus ar y ceiniogau; ond ni ofynodd am danynt fel y gwnaethai ar achlysur blaenorol, pryd y tybiwn ei fod yn bwriadu llogi twrne i amddiffyn Bob. Y tro hwn ymddangosai braidd mewn penbleth pa beth i'w awgrymu i mi ei wneyd â fy ngheiniogau; ac ebe fe—"Piti garw na fase Bob yn smocio —ne mi fase'r pres ene yn iawn i brynu blwch baco iddo fo." Gan nad allai efe awgrymu dim arall rhaid i mi addef fy mod ar y pryd braidd yn tueddu i gydofidio âg ef. Gwnaeth Wil un sylw yr wyf yn ei gofio yn dda: "Mae ene un fantes," ebe fe, "i golier wrth gael ei gymyd i'r *jail*—fedra nhw ddim rhoi y *county crop* iddo fo— achos mi diffeia nhw i dori wallt o yn fyrach nag ydi o." Llawer o sylwadau eraill a wnaeth Wil, y rhai a ystyriwn yr adeg hono yn hynod o ddoeth. Erbyn hyn yr oedd nifer y glöwyr a ddaethent i gyfarfod Bob yn fawr iawn; ond synwn at absennoldeb ei gyfaill penaf, sef John Powell. Tra yr oeddwn yn meddwl y fath siomedigaeth a fyddai i Bob nad oedd ei hen gydymaith yno i'w groesawu, clywn y trên yn dyfod i mewn, a dechreuodd fy nghalon guro yn gyflym, a dechreuodd Wil Bryan wneyd ei safn yn gron a dynwared y peiriant. Canodd y gloch, a daeth y gerbydres i'r golwg; ac wrth ei gweled yn dyfod mor gyflym tybiwn nad oedd yn bosibl iddi sefyll; ond sefyll a wnaeth. Gan drwst yr agerdd yn cael ei ollwng o'r peiriant, glo yn cael ei daflu ar y tân, *boxes* yn cael eu lluchio ar y *platform*, drysau yn cael eu hagor a'u cau, pobl yn gwau drwy eu gilydd ac yn siarad yn uchel, yr oedd yr orsaf yn ferw gwyllt. Edrychwn bob ffordd am Bob. "*All right*," ebe rhywun, ac ymaith â'r trên drachefn. Edrychai y glöwyr yn siomedig, a rhedodd Wil Bryan ataf; ac ebe fe, "Nyth caseg! dydi Bob ddim wedi dwad." Syrthiodd fy nghalon o'm mewn, ac o'r braidd y gallwn lywodraethu fy nheimladau. Ceisiai y glöwyr fy nghysuro trwy fy sicrhâu y deuai Bob gyda'r trên nesaf, yr hwn oedd ddyledus ymhen teirawr. Aethum tua chartref yn bendrist; ac ymhell cyn cyrhaedd y tŷ gwelwn fy mam yn y drws yn *ein* dysgwyl; a phan welodd hi fi yn dyfod fy hunan ciliodd i'r tŷ. Yr oedd ei siomedigaeth yn dost; ond dywedais wrthi fod y glöwyr yn sicrhâu y deuai fy mrawd gyda'r trên

nesaf. Ni thorwyd y gacen gyrans, ac aillanwyd y tegell, oblegid aethai y llenwad cyntaf ymaith mewn ager. Aethum i gyfarfod y trên drachefn, a chefais fod gweithwyr y Caeau Cochion yno yn lliosocach nag o'r blaen. Yr oedd ynof *presentiment* na ddeuai Bob gyda'r trên hwnw ychwaith, ac yr oedd fy rhagdybiaeth yn gywir. Erbyn hyn yr oeddwn, mewn ffordd o siarad, wedi colli aeth fy siomedigaeth fy hun wrth feddwl am yr ergyd a fyddai i fy mam, llinynau calon yr hon oeddynt wedi eu gweithio i'r fath dyndra fel yr ofnwn iddynt dori gan y newydd. Pan nesawn at y tŷ, nid oedd hi fel o'r blaen yn sefyll yn y drws; a phan aethum i mewn nid ymddangosai mor siomedig ag y dysgwyliaswn iddi fod. Cyn i mi ddyweyd dim, ebe hi,

"Mi wyddwn na ddoi o ddim; roedd rhwbeth yn deyd wrtha i. Dydi'r ffwrnes ddim wedi ei thwymo yn saith poethach eto, mae'n ymddangos. Mi wn fod rhwbeth wedi hapno iddo fo;" a chan gladdu ei hwyneb yn ei ffedog, ymollyngodd i wylo yn hidl.

Dilynais innau ei hesiampl, ac ymhen enyd teimlem ein dau yn well. Nid wyf yn cofio i ni gymeryd dim lluniaeth. Ni ofalai fy mam pa un a awn ai peidio i gyfarfod y trên olaf; ond myned a wnaethum. Sylwais fod yn yr orsaf erbyn hyn amryw o weithwyr y Caeau Cochion, y rhai a fuasent yn gweithio yn ystod y dydd; ac ymddangosent newydd ymolchi, a'u gwynebau yn lân oddieithr rhyw ychydig ddüwch yn nghonglau ac ar aeliau eu llygaid. Sylwais hefyd fod nifer mawr o'r rhai na fuasent yn gweithio y diwrnod hwnw wedi hanner meddwi. Daeth y trên i mewn, ond ni ddygodd Bob gydag ef; a dechreuodd y dosbarth a enwais ddiweddaf regu y trên a phobpeth ymron, ac yn enwedig y ddau ustus heddwch, Mr. Brown a gŵr y Plas. Ceisiai Wil Bryan fy mherswadio i aros enyd heb ddychwelyd adref, gan fod pob argoelion, meddai ef, y byddai yn fuan *row* gwerth ei weled ymhlith y *colliers;* ond pan welodd efe nad oedd ei eiriau yn tycio, dychwelodd gyda mi; a gwyddwn fod hyn yn aberth mawr iddo, oblegid yr oedd Wil yn ei elfen mewn helynt. Lle bynag y byddai cynhwrf, yno hefyd o bosibl y byddai Wil. Pan oeddym gyda'n gilydd yn ysgol Robyn y Sowldiwr, ei hoff waith a fyddai gosod y bechgyn i ymladd; ac ynglŷn â'r capel hefyd, yr oedd yn fil gwell ganddo gael hanes cyfarfod athrawon cecrus na gwrando ar bregeth dda. Oddiar yr adeg y dechreuodd Wil droi ei wallt a gwneyd Q P, yr oedd fy mam yn rhagfarnllyd iawn yn ei erbyn, a beunydd yn fy ngosod ar fy ngwyliadwriaeth rhag iddo fy llygru. Deallai Wil hyny yn burion; a phan ddeuai i'n tŷ ni gofalai dynu ei wallt i lawr ar ei dalcen cyn dyfod i mewn. Cafodd hyn effaith ragorol ar fy mam; ac yr wyf yn meddwl y buasai wedi dileu ei holl ragfarn oni buasai iddi hi yn ddamweiniol un diwrnod wrth edrych trwy y ffenestr ddal Wil yn myned trwy yr orchwyliaeth; a chafodd gerydd trwm ganddi am ei ragrith.

Ond ar y cyfan, fel yr wyf wedi awgrymu o'r blaen, yr oedd Wil yn deall fy mam i'r dim, ac yn gallu ei thrin yn rhyfedd. Pan wasanaethai hyny ei bwrpas, gallai siarad, yn ei ffordd ei hun, mor grefyddol â hithau ymron. Nid wyf yn meddwl fod yn ddrwg ganddi hi weled Wil yn dyfod gyda mi y noswaith hono. Cawsai hi gymydoges neu ddwy i'w chysuro, a chredai yn ddiammheu fod Wil yn rhyw gymaint o gynnaliaeth i minnau. Pan aethom i'r tŷ, synwyd Wil a minnau gan mor dawel oedd fy mam, a dywedodd Wil yn fy nghlust,

"Mae'r hen wraig yn sticio i fyny fel *brick.*"

"Mi welaf," ebe fy mam, "mai newydd drwg sy gynoch chi eto. Ond dydi o ddim ond y peth oeddwn i yn ddysgwyl. Mae rhwbeth wedi hapno iddo fo, ne mi fase adre cyn hyn."

"Peidiwch a rhoi'ch calon i lawr, Mary Lewis," ebe Wil; "yr ydw i yn credu y troiff Bob i fyny o rywle toc."

"Does gynat ti na minne ddim sail i obeithio am hyny, William," ebe fy mam. "Yr ydw i heno, wel di, yn gorfod teimlo geirie y gŵr doeth yn dwad ata i hyd adre, 'Gobaith a oeder a wanhâ y galon.' A medde Job pan oedd yntau mewn helbul, 'Yr wyt yn golchi ymaith y pethau sydd yn tyfu o bridd y ddaear, ac yn gwneuthur i obaith dyn golli.' 'A pha le yn awr y mae fy ngobaith?' 'Pwy hefyd a genfydd fy ngobaith?'"

"Wel, on'd oedd y pregethwr yn deyd y Sul o'r blaen, Mary Lewis," ebe Wil, "fod hi wedi dwad yn *all right* ar Job yn y diwedd, ar ol yr holl hymbygio fu arno, on'd oedd o?"

"Oedd, William," ebe fy mam; "a bydaswn inne mor hyderus yn y Prynwr byw ag oedd Job, mi ddaethe yn ôl reit arna inne hefyd, wel di."

"Mae hi'n siwr o ddwad yn *all right* arnoch chi, Mary Lewis, achos yr ydach chi mor dduwiol â Job, mi gymra fy llw," ebe Wil.

"Paid a rhyfygu a chablu, William," ebe fy mam.

"Rydw i yn deyd y gwir o nghalon," ebe Wil; "rydach chi mor dduwiol â Job bob dydd y codiff o o'i wely. Ac yn ol fel yr oedd y pregethwr yn deyd ei hanes o, yr ydw i yn ych gweled chi i'ch dau yn

debyg iawn i'ch gilydd. Mi gafodd Job wraig ddrwg a mi gaethoch chithe ŵr drwg, ac mi ddaru chi i'ch dau sticio at ych *colours* yn *first-class;* ac yr ydw i yn siŵr na fydd y Brenin mawr ddim yn *shabby* hefo chithe yn y diwedd, gewch chi weld."

"Yr ydw i yn begio arnat ti dewi, William," ebe fy mam. "Mi ddylet wybod nad ydw i ddim mewn tymher heno i wrando ar dy lol di."

"Lol!" ebe Wil yn zelog a gonest mi wyddwn, "nid lol ydyw *at all.* Mi fetia —hyny ydi, mi gymera fy llw y bydd hi yn *all right* arnoch chi yn y diwedd. On'd oedd y pregethwr yn deyd am Job mai 'i drio fo oedd y Brenin mawr? a felly mae o hefo chithe, dim ond *just* daugos ffasiwn stwff sy ynoch chi."

"William," ebe fy mam er mwyn troi yr ystori; "oedd ene lawer o'r *colliers* yn y rel-wê?" ("Rel-wê" y galwai fy mam y *Station.*)

"Miloedd ar filoedd," ebe Wil.

"Dene ti eto; does dim ond tri chant yn gweithio yn y Caeau Cochion," ebe fy mam.

"Wel, ïe, mewn ffordd o siarad, wyddoch, Mary Lewis," ebe Wil. "Yr ydw i yn siŵr fod yno *just* i gant."

"Ddaru un o honoch chi ddim dygwydd siarad hefo John Powell? Beth oedd o yn 'i feddwl am fod Bob heb ddwad?" gofynai fy mam.

"Doedd John Powell ddim yno," atebem ein dau.

"Ddim yno! John Powell ddim yno?" ebe fy mam mewn syndod.

"Roedd o yn gweithio stem y dydd," ebe Wil.

"Pwy oedd yn deyd hyny wrthat ti, William?" gofynai fy mam.

"Neb, ond y mod i yn meddwl hyny," ebe Wil.

Parodd hyn i fy mam bletio ei ffedog a hirfyfyrio. Yn y man ebe hi,—

"William, fyddet ti fawr o dro yn rhedeg càn belled a thŷ John Powell, a deyd wrtho, os ydi o i mewn, y baswn i yn licio 'i weled o."

"*No sooner said than done,*" ebe Wil, gan neidio ar ei draed; a dilynodd fy mam ef i'r drws, ac ebe hi,—

"Mae hi yn dywyll iawn, William, ac mae o braidd yn ormod i mi ofyn i ti ddwad yn ol. Mi ddaw Rhys hefo ti i gael gwybod rhywbeth gan John Powell, ac er mwyn i tithe gael mynd adre."

"*Stand at ease, as you were;* os bydd y twllwch yn dew iawn, mi tora fo hefo nghyllell," ebe Wil, ac ymaith âg ef.

"Mae ene rwbeth yn garedig ac yn glên yn y bachgen ene," ebe fy mam, "a fedrai yn y myw beidio 'i hoffi o; ond mi hoffwn o yn fwy bydae o dipyn yn fwy difrifol ac yn siarad llai o Saesneg. Mi fydda yn ofni llawer iddo fo dy neyd di run fath â fo ei hun; ac eto dydw i ddim yn meddw' fod dichell yn 'i galon o. Pam na faset ti yn deyd yn gynt wrtha i nad oedd John Powell yn y rêl-wê?"

Er fy mod yn gweled yr amser yn hir, dychwelodd Wil yn fuan gyda'r newydd nad oedd John Powell gartref, ac nad oedd wedi bod gartref ar hyd y dydd, yr hyn a barodd i fy mam drachefn syrthio i fyfyrdod dwfn, mor ddwfn fel na chymerodd hi un sylw o'r hyn a ddywedodd Wil wrthyf braidd yn ddystaw,—

"Mi alwes i ddeyd wrth y gaffer acw y mod i yn mynd i aros hefo ti heno. Rydan ni wedi colli *sport* iawn. Mae'r *colliers* wedi bod yn llosgi gŵr gwellt o Mr. Brown a gŵr y Plâs, a rhai iawn oeddan nhw hefyd. Mae ene gryn dair battel wedi bod, a Ned Un Llygad wedi gymryd i'r rowndws; ond mi mladdodd fel llew hefo'r plisman," &c.

Carlamodd Wil gyda'r ystori, ond nid oedd genyf flas i wrando arno, ac nid oes genyf duedd i'w hailadrodd yn y fan yma. Pan welodd efe nad oedd o un dyddordeb i mi, tawodd; a'r fynyd nesaf syrthiodd i gysgu gan chwyrnu dros y tŷ, yr hyn a barodd i fy mam ddeffroi o'i *reverie;* ac ebe hi,—

"William, mae'n amser i ti fynd adre, y machgen i."

"Ddim yn mynd adre heno; wedi deyd wrth y gaffer," ebe Wil; a syrthiodd i gysgu drachefn, ac ail ddechreuodd fy mam bletio ei ffedog, ac edrych yn syn i'r tân.

Hoffwn y dystawrwydd. Nis gwn a oes rhywun yr un fath â mi; ond byddaf yn meddwl mai cynnysgaeth a adawodd fy mam i mi ydyw y duedd sydd ynof o dreulio oriau bwygilydd yn nystawrwydd y nos i edrych yn syn i'r tân, pryd y bydd miloedd o bethau na fuont erioed mewn bod, ac na ddeuant byth i ben, yn rhedeg drwy fy meddwl. Er pob ymdrech yn ei herbyn, y mae y duedd yn glynu ynof hyd y dydd hwn. Aml i noswaith byddaf wedi treulio oes mewn ychydig oriau. Ymhlith pethau eraill, byddaf weithiau yn gweled fy hun wedi priodi rhywun nas gwn ei henw; mae i mi blant yn llenwi y tŷ â'u trwst; maent yn tyfu i fyny ac yn cael eu hanfon i'r ysgol; yr wyf yn ymdrechu eu magu yn y ffordd oreu a allaf; yr wyf yn cael pob math o brofedigaethau gyda hwynt; maent yn gadael cartref; ac o'r diwedd y mae eu mam yn marw, a minnau yn hen ŵr penwyn wedi fy ngadael gan bawb ond fy nwyffon; yr wyf yn teimlo yn oer, ac y mae'r cloc yn taraw un; ac yna byddaf yn neidio ar fy nhraed

gan sylweddoli mai wedi bod yn dychymygu y byddaf, ac mai hen lencyn rhynllyd ydwyf, ac yna byddaf yn rhedeg i fy ngwely! Cyn rhoi hûn i fy amrantau, byddaf yn penderfynu na roddaf byth mwyach ffrwyn i fy nychymyg, gan ei fod yn afiesol, os nad yn bechadurus. Y noswaith ganlynol byddaf yn darllen nes blino, ac yna byddaf yn dywedyd wrthyf fy hun, "Rhys, gwell i ti cyn myned i dy wely feddwl am y peth yma a'r peth arall, *just* am ryw bum mynyd." Nid cynt y byddaf wedi dyweyd hyny nag y byddaf yn dechreu adeiladu castelli yn yr awyr drachefn. Dychymygaf fy hun y peth yma a'r peth arall, ac yn y sefyllfa hon a'r sefyllfa arall am awr, dwy, weithiau tair! Ymhell y bo y fath beth! Ac eto yr wyf yn ei hoffi. Yr wyf fel y dyn sydd yn gaethwas i'r ddiod feddwol, yn casâu fy nhuedd yn nyfnderau fy nghalon, ac ar yr un pryd yn cael y pleser mwyaf ynddi; ond o hyd yn penderfynu ei choncro ryw ddydd.

Ond i ddychwelyd. Fel y dywedais, hoffwn y dystawrwydd; ac nid oedd chwyrniadau Wil, na'r ffaith fod rhywbeth yn dyfod yn fynych i'w wddf fel pe buasai am ei dagu, ond mewn ystyr yn ychwanegu at y dystawrwydd. Ni yngauodd fy mam na minnau air; ond bum yn meddwl ar ol hyny fod ein dychymyg, er yn anymwybodol, yn cyd-deithio, gan mor lwyr yr oedd ein meddwl wedi ei lyncu i fyny gan yr un gwrthddrych. Nis gwn am ba hyd y buom yn y sefyllfa hon; ond yr wyf yn cofio yn dda i mi ddychymygu ddegau o weithiau clywed rhywun yn cerdded i fyny y buarth at ddrws y tŷ; a phan o fewn ychydig gamrau i'r drws collwn swn y troed. Rai gweithiau byddwn yn sicr mai sŵn troed Bob ydoedd, a daliwn fy anadl; ond diweddai y cyfan mewn dystawrwydd. Yr oedd y dychymygion hyn mor felus i mi fel cân gynted ag y diweddwn gydag un y dechreuwn ar un arall; ac oni buasai i mi weled Wil yn deffroi yn sydyn, a fy mam yn neidio ar ei thraed, ni buaswn yn gwybod pa un ai dychymyg ai ffaith ydoedd fod rhywun yn curo'r drws. Tra yr oedd Wil yn deffroi o'i gwsg, a minnau o fy mreuddwydion, i groesawu Bob, yr oedd fy mam wedi agor y drws. Ond pa faint oedd ein siomedigaeth! Y dyn a gasawn â fy holl enaid a glywn yn dyweyd wrth fy mam,—

"Wel, Mary, sut yr ydach chi er's talwm?"

Efe oedd yr hwn a alwn i pan welais ef y tro cyntaf—"y Gwyddel," a'r hwn a'm hattaliodd wrth goed y Plas y noswaith y bu farw Seth. Mae yn ffaith ryfedd ymhob cyfnod *critical* yn more fy oes, y byddai y dyn hwn yn sicr o ymddangos, a byddai cân gased genyf ei weled a gweled y Gŵr drwg. Gwybu Wil mewn eiliad pwy ydoedd; canys gwyddai gymaint am dano ag a wyddwn innau ymron, gan nad allwn, fel yr awgrymais yn nechreu fy hanes, gelu ond ychydig oddiwrth fy nghydymaith, ac ni ddarfu iddo erioed fradychu fy ymddiried. Pan ddeallodd fy mam pwy oedd ein hymwelydd, uniawnodd yn ei chefn, a chanfyddwn nad hi oedd wedi colli dim o'r *pluck* a arddangosai bob amser pan fyddai gwir alwad am dano. Hi a safai o flaen y Gwyddel, fel y galwn ef, fel nad oedd yn bosibl iddo ddyfod i'r tŷ ond trwy drais; ac ebe hi wrtho,—

"James, yr ydw i wedi deyd wrthoch chi laweroedd o weithiau nad oes gen i byth eisio gweld eich gwyneb chi, ac nad ydach chi ddim i ddwad i'r tŷ 'ma."

Chwareuai Wil â'r *poker*, ac estynodd y Gwyddel ei ben i weled pwy oedd yn y tŷ; ac ebe fe gan edrych ar Wil—

"Onid bachgen Hugh Bryan ydi o?"

"Ië," ebe fy mam.

"Roeddwn i yn meddwl hyny ar i drwyn o," ebe y Gwyddel.

"Be ydach chi yn i weled ar y nhrwyn i—yr angen *pheasant* gynoch chi?" ebe Wil yn boethlyd.

"William, taw y mynyd yma, gore i ti," ebe fy mam. Gallwn ddarllen ar wyneb y Gwyddel na roddasai dim fwy o bleser iddo na chael rhoi tro yn ngwddf Wil; a hyny a wyddai fy mam yn dda. Chwareuai Wil â'r *poker* gan rwgnach yn ei frest; ac ebe fe wrthyf yn ddystaw, 'Ga i roi noled iddo fo?' Ni fuasai raid i mi ond dyweyd 'Cei,' a buasai Wil wedi gwneyd defnydd o'r *poker* y foment hono. Ond rhybuddiais ef i gymeryd gofal, oblegid nid gŵr i gellwair âg ef oedd y Gwyddel. Daliai Wil ei afael yn y *poker*, a chadwai ei lygaid ar yr ymwelydd, fel y ceidw cyw iâr ei lygad ar y barcud pan fydd ar ddisgyn arno, gyda'r gwahaniaeth nad oedd ar Wil ofn yr ymosodiad. Gwyddwn ar olwg Wil os meiddiai y Gwyddel osod ei law ar fy mam, neu geisio dyfod i'r tŷ trwy drais na buasai yn ymgynghori â mi pa ddefnydd a wnelai â'r *poker*. Erbyn hyn siaradai fy mam â'r Gwyddel mor ddystaw fel nad allem ddeall ond ychydig eiriau o'r hyn a ddywedent. Deallwn fod fy mam yn ei gymhell yn daer a thrwy fygythion ar iddo fyned ymaith. Gwelwn y Gwyddel yn troi ei olwg ar Wil, a chlywn ef yn gofyn i fy mam—"Feder o ddal ei dafod ar ol heno?" Ni ddeallais atebiad fy mam gan mor ddystaw y llefarai. Yn hollol sydyn peidiodd y ddau a siarad; a gwelwn y Gwyddel yn troi ei lygaid tua'r buarth ac yn gwelwi yn ei wyneb; eto ni symudodd efe o'i unfan, a'r foment nesaf clywem

swn traed yn dyfod i fyny at y tŷ. Yn yr ychydig eiliadau hyny gwelwn o fy mlaen gydwybod euog yn peri i'w pherchenog ddelwi a chrynu; a'r fynyd nesaf gwelwn law yn cydio yn ei wàr ac yn rhoi chwildro iddo; a chlywn lais na swniasai yn ein tŷ ni er ys deufis yn dywedyd wrtho—

"Holo, *Gamekeeper!* beth ydach chi ei eisieu yma?"

Dyna oedd yr olwg olaf a gefais ar y Gwyddel y noswaith hono; a cherddodd Bob a John Powell i'r tŷ, gan gau y drws ar eu holau. Ni cheisiaf ddarlunio llawenydd fy mam a minnau, am y byddai cywilydd arnaf ei weled ar bapyr. Gan nad pa mor *parodoxical* yr ymddengys, y ffordd y darfu i ni ein dau ddangos ein llawenydd oedd trwy grïo ei hochr hi. Wrth daflu fy meddwl yn ol, yr wyf yn credu fod y dull a gymerodd Wil Bryan i amlygu ei deimlad yn llawer mwy rhesymol. Cerddai, neu yn hytrach lledddawnsiai o gwmpas y gegin, gan chwibianu yr alaw, "When Johnny comes marching home," a chan redeg y *poker* yn ol a blaen ar hyd ei fraich chwith fel pe buasai yn chwareu y *fiddle*. Yr oedd Wil wedi gwneyd ambell i gylchdro cyn i fy mam sylweddoli fod y fath annuwioldeb yn myned ymlaen yn ei thŷ; ond buan y rhoddodd hi derfyn ar ei ystumiau.

Er fy nghysur nid oeddwn yn gallu canfod fod y carchar wedi gwneyd un cyfnewidiad yn ymddangosiad Bob. Gwisgai ei wyneb y tawelwch siriol a phenderfynol a wisgai bob amser, ac nid oedd dim yn ei *gait* yn arddangos ei fod wedi colli gronyn o'i annibyniaeth meddwl. Nid oedd caledwaith yn beth newydd iddo ef, ac hwyrach mai hyny a roddai gyfrif am y ffaith. Pan ddaeth fy mam ati ei hun, edrychodd arno o'i goryn i'w sawdl, a phrotestiai ei fod fel llanciau y gaethglud yn edrych yn well ar ol ei "ffâr galed." Yna dechreuodd ei "holi a'i stilio;" a phan ofynodd iddo pa fodd na ddaethai adref gyda'r trên canol dydd, atebodd John Powell,—

"Arnaf fi y mae y bai hwnw. Deallais fod y gweithwyr yn penderfynu gwneyd helynt ac arddangosiad o Bob, a gwyddwn na fuasai yntau yn hoffi hyny; ac aethum i'w gyfarfod gan ei gadw yn ol nes i bawb fyned i'w gwelŷau; ond gwn y deuaf i helbul am yr hyn a wnês."

Pan ddaeth tro Bob i ofyn am newyddion, dysgwyliwn mai un o'r pethau cyntaf a ddywedasai fy mam wrtho a fuasai fy mod i wedi myned yn brentis at Abel Hughes; ond cefais fy siomi. Ac nid ydyw yn ddrwg genyf heddyw am hyny; ac y mae cofio ei geiriau yn gysur mawr i mi y fynyd hon, gan y dangosent yn eglur pa le yr oedd ei meddyliau hi yn cartrefu, a pha bethau oeddynt yn ffordd io mwyaf o lawenydd i'w chalon. Ebe hi,

"Y newydd goreu ar y ddaear sy gen i i ddeyd wrthat ti, Bob, ydi fod Thomas a Barbara Bartley wedi dyfod i'r seiat, a bod pob lle i gredu fod y ddau wedi cael tro gwirioneddol."

"A mi roedd ene sport hefo nhw," ebe Wil.

"Taw, gore i ti," ebe fy mam, "a son am sport yn y seiat. Roedd y ddau dipyn yn smala, fel y gallaset ti ddysgwyl, wyddost Bob; ond yn y meddwl i yr oedd tinc yr alwad yno yn ddigon plaun. Ac yr ydw i wedi meddwl llawer, y mechgyn anwyl i," ychwanegai, gan ranu ei hedrychiad arnom ein pedwar, "am y geirie hyny, 'Y rhai olaf a fyddant flaenaf.' Mi fydde yn arw o beth, Bob, by dae Thomas a Barbara, er 'u holl anwybodaeth a'u digrifwch, ar gael yn y diwedd, a nine, plant y deyrnas, wedi'n taflu i'r twllwch eithaf, oni fydde?"

Siaradodd fy mam lawer yn y *strain* yna; ac nid ydwyf yn cofio i mi erioed weled Bob yn talu y fath sylw i'r hyn a ddywedai hi; ac os nad oedd rhyw ddiffyg ar fy ngolwg, yr wyf yn credu i mi ganfod lleithder yn ei lygaid fwy nag unwaith y noson hono. Yr oedd fy mam wedi ei llyncu i fyny gymaint gan ei *theme*, fel na feddyliodd hi am yspaid gynnyg ymborth i fy mrawd a'i gydymaith. Ond yr oedd yn ymddangos fod y ddau wedi bod yn gwledda yn rhywle cyn dyfod gartref; ac yr oedd fy mam, o'r diwedd, yn ddigon meddylgar i ddwyn y gacen gyrans o flaen Wil Bryan a minnau. Gallaf ddyweyd gyda chydwybod dawel mai gwir a ddywedaf: pe buasai Wil a minnau ymhob amgylchiad dilynol y buom ynddo wedi gwneyd ein dyledswydd mor llwyr a pherffaith ag yn yr amgylchiad pan ddaeth y gacen gyrans a ninnau i wynebau ein gilydd ganol y nos hono, na fuasai Wil yn y man lle mae efe yn awr, ac y buaswn innau yn weinidog yr efengyl llawer mwy effeithiol nag ydwyf. Gorchymynodd fy mam i Wil a minnau fyned i'r gwely, a theimlwn i fy hun yn berffaith hapus; ac yn ol tystiolaeth Wil, y foment olaf cyn iddo ddechre chwyrnu, nid oedd dim yn ei flino yntau ond y ffaith ddarfod i mi wrthod caniatâd iddo i roddi "nôled" i'r Gwyddel.

---

## I'R DWYRAIN.

### PENNOD I.

### *O Lundain i Alexandria.*

YN ngwanwyn y flwyddyn ddiweddaf, 1882, daeth i fy meddwl dalu ymweliad

â gwledydd y Dwyrain. Nid yn hollol am fod y meddyg yn fy nghynghori i gael taith i'r cyfeiriad yna, ond yr oeddwn bob amser yn awyddus am hyny, ac wedi penderfynu myned pan welwn y cyfleusdra. Nis gallaswn i berswadio fy hun fel y gŵr hwnw, pan ofynodd rhywun iddo a fuasai yn caru cael gweled gwlad Canaan, a atebodd, "Na, mi fyddaf yn foddlawn ar gael golwg arni wrth basio i'r nefoedd." Ond rhag ofn iddi fod yn dywyll arnaf pan yn gwneyd y daith olaf ddyeithr hono a nodai hwnw, neu y buasai rhyw olygfeydd eraill mwy swynol a phrydferth na Chanaan yn tynu fy sylw, penderfynais fyned i'w gweled y pryd a nodwyd.

Gwlad ryfedd yw Canaan, "gwlad beddrod fy nhadau," yr hen dadau Ysgrythyrol; gwlad lle y ganed, y magwyd, ac y bu farw ein Ceidwad bendigedig; gwlad lle y gwnaeth Efe y gwyrthiau rhyfedd yn ei fywyd. Felly ni ddysgwyliaf i neb ofyn i mi beth a wnaeth i mi gymeryd y fath daith. Eithr nid oeddwn wedi meddwl am ysgrifenu gair am dani, o achos y mae mwy wedi ei ysgrifenu nas gallaswn i ei wneyd ar daith frysiog fel hon. Ond y mae rhywbeth mor swynol ynglŷn â gwledydd y Dwyrain fel yr ydwyf yn awyddus i gyfranu i ryw fesur i eraill yr hyfrydwch a gefais, er gwaethaf yr argyhoeddiad nad oes dim a all trafaeliwr brysiog ei ddyweyd am y gwledydd hyn nad ydyw wedi ei gael gan rywun mwy cymhwys yn flaenorol. Ond eto fe allai y gallwn i roddi ychydig bleser a hyfrydwch i'r gwan a'r blinedig sydd heb fod yn alluog i dreulio bwyd cryf; a dyna y dosbarth yr ewyllysiwn iddynt fy nilyn am dro i'r Dwyrain.

Fel y mae yn wybyddus i lawer, y mae gwahanol ffyrdd i fyned i'r gwledydd hyn: sef gyda'r *steamers* o Liverpool neu Southampton; neu os bydd rhywun yn dewis cael llai o fordeithio gyda'r glànau peryglus yna, a chyda'r Bay of Biscay sydd yn ddychryn i lawer, gellir gwneyd y daith trwy fyned gyda'r rheilffordd drwy Ffrainc i Marseilles neu i Brindisi yn Italy. Ond *viâ* Marseilles yr oedd ein llwybr rhagderfynedig ni. Yr oedd y cwmni i gyfarfod i gychwyn yn y Charing Cross Station, Llundain, am un ar ddeg o'r gloch bore Chwefror 21, 1882. Yr oedd genym gynllun cyflawn wedi ei dynu; yr oedd i bob diwrnod ei daith a'i waith; ac felly ein taith y dydd cyntaf oedd i Paris, prifddinas y Ffrancod, 270 milldir o Lundain, trwy Boulogne. Cawsom ddiwrnod cysurus i gychwyn, a'r hin yn dawel i groesi yr English Channel, a chyrhaeddasom i Paris wyth o'r gloch y nos. Nid oeddym yn aros yno ond hyd y bore, gan gychwyn oddiyno i Marseilles am naw gyda'r rheilffordd P. L. M., a theithio heb newid cerbyd yr holl ffordd, 536 milldir. Mae'r llinell hon yn rhedeg trwy ganol y wlad, ac yn gyffredin trwy ddyffrynoedd prydferth, ac yn agos i lànau afonydd y Zonne a'r Rhone. Mae'r afonydd yma yn rhedeg trwy ganol y wlad, ac yn fordwyol y rhan fwyaf o'r ffordd, ac o werth anmhrisiadwy i'r wlad mewn llawer ystyr, yn enwedig i gludo nwyddau ar hyd-ddynt. Yr oeddwn yn cael fy siomi yn yr olwg ar y wlad hon; yr ydoedd yn edrych yn fwy llwydaidd na'n gwlad ein hunain. Nid ydynt yn llafurio ond ychydig ar y tir, ond yn tyfu llawer o goedydd ffrwythau, yn enwedig y gwinwydd, y ffigyswydd, a'r olewwydd. Maent yn trefnu yr holl ochrau seith yn hynod ddeheuig at y coed hyny. Mae eu dull o lafurio eu tir yn wahanol i ni yn y wlad hon. Y mae ganddynt aradr mawr gyda thair olwyn dano, ac y maent yn drugarog wrth eu hanifeiliaid. Yr oedd ganddynt weithiau bump o geffylau o flaen eu haradr, a gwelais chwech o flaen eu troliau, ac y maent yn gweithio eu hychain hefyd. Ond y maent yn ddidrugaredd wrth eu merched, fel y gwelir ymhob gwlad lle mae'r efengyl yn colli fod y rhyw fenywaidd yn dyoddef. Gwelir hyny i fesur yn Ffrainc, ond yn myned waethwaeth fel yr eir ymlaen i'r Dwyrain. Mae Ffrainc yn myned yn ddigrefydd iawn; nid gan grefydd yn gweithio, ond myned heb yr un grefydd. Gwelir y merched yn gweithio yn galed allan ar hyd y meusydd, a gwelais rai o honynt yn tori cèryg ar y ffordd fawr, a chyda gorchwylion eraill.

Cyrhaeddasom i Marseilles, prif dref borthladdol Ffrainc, yn hwyr y nos. Mae hon yn dref fawr a hardd, a masnach helaeth yn cael ei chario ymlaen ynddi, trwy fod yma borthladd a *docks* mor hynod gyfleus at bob masnach a wnânt â gwledydd tramor.

Nid oedd genym ond amser byr yn y ddinas hon, o herwydd yr oeddym yn cychwyn oddiyno ganol dydd Chwefror 23ain, yn y *steamer* eang a phrydferth yr Amazon, 2700 tunnell. Y lle nesaf yr oeddym i alw ynddo oedd Naples, 480 milldir oddiyma. Yr oedd y môr yn dawel a llonydd heddyw, a phob golwg am fordaith gysurus; ac ni chawsom ein siomi—dim salwch y môr ar neb. Nid llawer o dir oedd yn ein golwg ar y fordaith hon. Ar ol gadael glànau Ffrainc, y tir cyntaf oedd y ddwy ynys, Sardinia a Corsica, a ninnau yn myned trwy y culfor rhwng y ddwy. Y mae Sardinia yn ynys fawr, 150 milldir wrth 60, a Corsica yn llai. Mae y ddwy yn hynod—Sardinia am fod Garibaldi wedi bod yn byw ynddi, a Corsica yn lle genedigol Napoleon Buonaparte. Pabyddiaeth ydyw y grefydd sydd

ynddynt. Wedi i ni golli ein golwg ar yr ynysoedd hyn, ochrau Italy ydyw y tir nesaf, a'r hyn yr oedd mwyaf o edrych am dano oedd Vesuvius. Yn fuan yr oeddym yn ddigon agos, fel yr oedd y golofn o fwg yn ddigon amlwg i bawb, ac fel yn llefaru yn eglur yn ei iaith wrth drigolion annuwiol Naples sydd ar ei odre, "Onid edifarhewch, chwi a ddyfethir oll yr un modd" ag y dyfethwyd trigolion Pompeii a Herculaneum gynt am eu pechodau gwarthus, trwy i'r *lava* llosg o Vesuvius arllwys arnynt a'u claddu yn ddirybudd. Nid oedd y trefydd hyny ond yn yr un ardal â dinas Naples, ond fod Naples wedi ei hadeiladu yn ddiweddarach. Nid oeddym yn aros yma eto ond ychydig, gan ein bod i gychwyn yn yr hwyr; a chan fy mod wedi bod yn ymweled â'r dref yn flaenorol, nid oeddwn yn gofalu. Mae'r olwg ar drigolion Naples pan ddaw *steamer* i mewn i'r *bay* yn wir gynhyrfus. Bydd, fe allai, ddeugain o gychod o bob math, a'r dwylaw ynddynt yn ymwasgu am y nesaf i'r llong, ac yn llefain yn ddidòr am gael rhywbeth i'w gario i'r làn; eraill o honynt yn gwneyd campau trwy fwrw eu hunain i'r môr ar ol pres neu rywbeth a deflir yno; pa mor lleied bynag a fydd, deuant âg ef i fyny rhwng eu dannedd. Dyna eu dull hwy o *fegio*. Maent yn gallu sefyll yn syth yn y dwfr fel pe byddai ganddynt rywbeth o dan eu traed.

Er nad oedd ein hamser yma ond byr, aethom i'r làn i weled y lleoedd mwyaf hynod. Y lle cyntaf oedd palas y brenin Humbert. Y mae hwn yn ardderchog, a gwerthfawr yw y darluniau a'r dodrefn sydd ynddo. Y lle nesaf oedd y *museum* sydd yno. Dyma un o ryfeddodau penaf y wlad, gan y dangosir yr holl hynodion a gafwyd yn y dinasoedd a gladdwyd gan y *lava*. Er fod hyny wedi dygwydd er ys 1870 mlynedd, yn ddiweddar y daeth yr *excavators* o hyd iddynt, ac y dygwyd i'r amlwg y pethau hyny oedd wedi cadw yr holl amser hwnw. Mae llawer o honynt yn cadarnhâu y Bibl a hynafiaethau eraill. Y mae Victor Emmanuel yn haeddu canmoliaeth am y gôst a'r drafferth a gafodd gyda hyn. Dangosir yma gyrff dynol a gaed yn y tai fel yr oeddynt yn dygwydd bod wrth eu gwahanol orchwylion ar y pryd eu goddiweddwyd. Dangosir yno bara a gaed yn mhobty'r pobydd yn eu gwahanol ffurf a maintioli. Mae yno ddelwau a gauddduwiau a addolent yno ar y pryd, a phob math o addurniadau, modrwyau aur, a'r cyffelyb bethau, y cyfan wedi dyfod i'r amlwg yn adfeilion y trefydd hyn.

Y mae'r amser terfynedig i gychwyn o Naples wedi dyfod, sef gyda'r hwyr y 15fed o Chwefror. Ein mordaith nesaf oedd i Alexandria, 1069 milldir o Naples. Nid llawer a welir ar y rhan hon wedi i ni adael glànau Italy. Yr ydym yn rhedeg heibio i'r ynys danllyd Stromboli. Yr oedd colofn o fwg a thân yn dyrchafu o ben hon ar y pryd, a chan ei bod yn nos, yr oedd i'w gweled yn fwy eglur. Yn fuan dyma y culfor prydferth, *the Straits of Messina*, rhwng Italy a Sicily. Cyfrifir hwn yn un o'r golygfeydd prydferthaf a fedd natur. Yr olygfa nesaf yr oeddym yn edrych yn ddyfal am dani oedd mynydd Etna yn Sicily. Yr oeddym i fyny yn fore i gael yr olygfa yma arno; a chawsom dâl da am yr ymdrech. Yr oedd yn fore hafaidd, yr haul yn codi yn ei brydferthwch dros Italy, ac yn pelydru ar lechweddau Sicily, ac yn ein cynnorthwyo ninnau i weled Etna yn yr uchelder, a cholofn o fwg yn dyrchafu o'i gopa. Fe fyn rhai fod rhyw gysylltiad rhwng Etna a Vesuvius, er fod 200 milldir rhyngddynt, o achos, meddir, pan y bydd un yn bwrw tân i fyny, bydd y llall yn dawel; ond beth bynag am hyny y mae yr olwg arnynt yn fawreddog. Yr oedd gyda ni nifer o Americaniaid ar y llong; ac fel y maent hwy yn hynod am eu drychfeddyliau newyddion, daeth i feddwl un o honynt wrth fyned heibio, a gweled Etna yn mygu, mai *petroleum* oedd ynddo; ac yr oedd efe am dapio yr hen fynydd ar unwaith yn ei waelod, a thrwy hyny ddiffodd y tân am byth. Ond y mae hyny heb gymeryd lle eto; canys gwelais yn ddiweddar fod Etna yn bygwth dinystrio y pentrefydd sydd ar ei lechweddau ynghyd a'r trigolion, trwy fod y *lava* llosgawl yn dechre dylifo i lawr yn gyflym. Ond yr ydwyf yn meddwl ei fod wedi arafu y waith hon eto cyn gwneyd cymaint o ddifrod ag yr oeddid yn ei ofni. Dydd Sabboth oedd hwn; a rhaid addef mai Sabboth pur ddiffrwyth a fu hwn i ni, heb ond ychydig o wahaniaeth i'w weled rhyngddo â phob dydd o'r wythnos; y morwyr o angenrheidrwydd wrth eu gwahanol orchwylion, a'r teithwyr drachefn fel yn methu gwybod pa beth i'w wneyd. Eto yr oedd yno nifer fechan yn awyddus am gael gwneyd rhyw wahaniaeth; a gwnaed cais at y llonglywydd am gael cadw gwasanaeth crefyddol yn y *saloon*. Ond gommeddodd y gŵr i ni gael hyny, am fod hyny, meddai efe, yn groes i'r rheolau. Ei reswm dros hyny ydoedd, fod y *passengers* bob amser yn gynnwysedig o gynifer o wahanol grefyddau, ac y byddai Sabboth rhai o honynt—Iuddewon, mae yn debyg—bob yn ail ddiwrnod, ac y byddai yn beryglus yn aml i ryw ymrafael godi yn eu mysg. Felly bu raid i ni foddloni heb un gwasanaeth crefyddol y Sabboth hwn, er fod yno ddau glerigwr

yn swyddus am ein gwasanaethu; ac nid oedd dim i'w wneyd ond ymroddi i ddarllen. Eithr rhaid addef mai un o'r pethau anhawddaf i'w gyflawni i bwrpas ydyw darllen yn nghanol ystŵr a dwndwr bwrdd agerlong, tra y bydd chwareu cardiau a phob chwareuon eraill yn myned ymlaen ymhob cyfeiriad. Rhyfedd ydyw fod y morwyr yn gallu cadw rhyw lun o grefydd wrth ei gilydd; ac y maent yn wrthddrychau teilwng i weddïo llawer drostynt.

Ar ol i ni golli ein golwg ar Sicily, nid oedd tir eto i'w weled hyd nes y daethom i olwg ynys Candia; yr oedd Malta yn rhy bell y waith hon. Ac yn nesaf canfyddid ochrau crinllyd Affrica. Yr oedd cawodydd o dywod mân oddiar yr anialwch yn ein blino am amser hir cyn i ni ddyfod i olwg y wlad. Yr hin ydoedd yn parhâu yn hafaidd, dim tebyg i salwch y môr ar neb o'r teulu, ac nid peth bychan ydyw hyny, er y dywedai y diweddar Dr. Macleod wrth ddarlunio yr ystorm a gafodd ef ar Fôr y Canoldir, ei fod yn werth yr holl drwbl a'r ofnau i gael ystorm ar y môr, er mwyn ei weled yn ei erchylldra mwyaf. Yr ydwyf finnau o'r un farn â'r doctor. Ond gan fy mod wedi ei weled unwaith yn yr Atlantic pan yn dangos ei hunan, a bod unwaith mewn ees yn ddigon i'w weled, yr oeddwn yn ddiolchgar am dywydd tawel. Ac o bob lle am dawelwch a llonyddwch oddiwrth sŵn a dwndwr y byd, y môr ydyw'r lle. Ceir yma heddwch i'r ymenydd oddiwrth bob gofalon bywyd am enyd, a ninnau yn gwybod fod y byd prysur yn myned ymlaen yn ei gwrs arferol heb ein gwasanaeth ni, ac felly ein bod yn penderfynu myned ymlaen am enyd hebddo yntau; y môr mawr llydan yn ein gwahanu oddiwrth bob dyledswydd arferol. Nid ydyw'r gair dyledswydd yn perthyn i neb ar fwrdd llong ond y swyddogion a'r morwyr. Ac y mae y rhanau hyny o'u dyledswyddau pan ar y lân a gyfrifir yn ail bethau ar y môr, wedi dyfod yn bethau blaenaf, sef ein prydiau bwyd a chysgu, a'r cyffelyb bethau, ac felly yr ymenydd a'r côf yn gwaghâu eu hunain yn hollol oddiwrth bob peth a fu yn ein trafferthu yn flaenorol, a ninnau yn teimlo ein hunain fel yn ail ddechre byw o'r newydd fel plant, ac yn ceisio edrych am rywbeth plentynaidd i'n difyru. Un peth a fyddai yn tynu ein sylw yn fynych fyddai gwylied yr haul yn codi a machludo. Byddai yr olwg arno yn ogoneddus, gan fod yr awyr mor hynod o glir yn y Mediterranean, a dim i gysgodi rhyngom, fel y mae'r haul pan yn machludo yn ymddangos fel olwyn fawr o dân yn disgyn megys i'r môr yn y pellder; a chymer bedwar mynyd i drafaelio ei lêd, a gwelir felly pa mor gyflym y mae yn trafaelio. Byddai cynhwrf mawr ar y bwrdd yn fynych pan y byddai ambell i long yn dyfod i'r golwg yn y pellder, a'i hwyliau gwynion yn chware, a'r dyfalu fyddai i ba gyfeiriad y troai. Y pysg mawrion hefyd yn chware yn eu helfen a gaent sylw manwl. Gwelem aderyn bychan fel wedi ymgolli uwch ben yr eigion, ac wedi cwbl flino ar ei aden, yn falch iawn o le i roddi ei droed i lawr ar y rhaffau; a dyma lle y bu am ddyddiau yn ymborthi ar y pryfed a allai eu dal.

Yr arwydd gyntaf a geid pan yn nesâu i wlad newydd a fyddai y *pilot boat*; a dyma hwnw wedi dyfod â'i faner i fyny i'n cyfarfod o Alexandria. Yr oedd yr olwg gyntaf ar y gŵr oedd yn ein byrddio ni i gymeryd y llywyddiaeth, yn rhoddi ar unwaith i ni gymeriad y Dwyreinwyr—ei wyneb crebachlyd, ei ddannedd gwynion, ei *petticoat trousers*, ei hugan a'i *turban*; y cyfan yn wrthddrych teilwng i ddarlunydd. Pan gyrhaeddodd y llong i *Alexandria Bay*, yr oedd yno olygfa gynhyrfus: y brodorion wedi dyfod i'n cyfarfod yn eu cychod, oddeutu deugain o honynt, a phawb yn ymwasgu am yr agosaf i ochr y llestr, ac yn llefain rhywbeth yn yr Arabaeg, fel pe na buasai dim ynddo ond gwneyd sŵn drwg. Ond yr oedd yn eglur mai eisieu cael y gwaith o fyned â ni i'r lân oedd arnynt; ac nid peth bychan i ymwelwyr â'r Dwyrain ydyw cael eu hunain a'u *luggage* i'r lân, a phasio'r *custom-house officers*, a'r genllif ddiderfyn o fechgyn yr asynod, cludwyr, arweinyddion, neu rywbeth a ddaw âg ychydig o *backsheesh* i mewn. Wedi dyfod trwy y rhai hyn oll, caed hamdden i edrych o gwmpas. Dydd Mawrth ydoedd. Nid oeddem yn dysgwyl llawer oddiwrth Alexandria, gan nad yw yn hynod am ddim ond fel tref fasnachol; dim llawer o hynafiaethau ynddi oddigerth *Pompey's Pillar*, yr hon sydd yn gant a phedair troedfedd o uchder, yn un garreg o farmor coch, a *Cleopatra's Needle* hefyd sydd wedi sefyll i fyny er ys mwy na deunaw can' mlynedd. Y mae yn brif borthladd yr Aipht, ac yn dref boblogaidd ei thrigolion, tua dau can' mil. Yn fuan wedi ein hymweliad, gwnaed difrod dychrynllyd arni adeg y rhyfel, pan ddarfu i longau rhyfel Lloegr falurio'r ddinas i raddau helaeth; a llosgwyd llawer o honi gan y trigolion eu hunain er mwyn yspeilio a lladrata.

Mawrth 21ll, cychwynem o Alexandria i Cairo, 131 milldir gyda'r *train* drwy y parth gogleddol i'r wlad. Yr oeddym yn croesi breichiau yr afon Nilus. Mae y rhanau yma o'r wlad yn dir ffrwythlawn. Eu dull o'i lafurio sydd yn wahanol iawn i ni yn y wlad hon; ac y maent yn edrych

yn hynod annhrefnus ac anniwylliedig gyda phob peth; dim ond ychydig wahaniaeth i'r hyn oeddynt ddwy fil o flynyddau yn ol. Nid ydyw eu haradr ond dau bolyn; un yn myned â'i flaen i'r ddaear i dyrchio ychydig ar y tir, a'r llall yn cymeryd o hono ac yn myned i fyny i'r iau sydd ar warau yr ychain sydd yn ei dynu. Nid oes ganddynt gloddiau rhwng eu meusydd, ond rhwymant eu hanifeiliaid wrth raffau; a phan yr ä yr afael yn llwm, estynant y cortynau i afael newydd. Nid oes ganddynt ond ychydig o borfa fel y ceir yn ein gwlad ni, ond tyfant fath o *clover*. Eu diffyg mawr ydyw prinder dwfr; ychydig o wlaw sydd i'w gael. Gwelir y ffermwyr yn brysur yn ceisio codi dwfr o'r Nilus; a'i redeg a wneir ar hyd ffosydd i'w gario i wahanol gyfeiriadau ar y meusydd. Y mae ganddynt lawer cynllun i'w godi. Un ydyw math o olwyn yn cael ei throi gan ddau ych, a phan fydd yr afon yn ddofn bydd yn rhaid cael dwy a thair; un i'w godi i un uchder, a'r llall i uchder arall, nes y bydd yn ddigon uchel i redeg i'r manau y bydd ei eisieu. Y mae ganddynt hefyd lestri wrth fath o bolyn hir, ac eraill gyda rhaffau wrth eu llestri. Wrth eu gweled hwy mewn cymaint llafur yn cael dwfr, yr oeddwn yn teimlo nad ydym ni yn y wlad hon yn ddigon diolchgar o lawer am y gwlaw graslawn yr ydym yn ei gael i ddyfrhâu y ddaear yn ddidrafferth i ni; dim ond *watering pot* mawr y ffurfafen yn ei hidlo ar ddyffryn a bryn heb fethu.

E. OWEN.

*Bootle.*

---

### TAITH AR DRAWS CYFANDIR AMERICA.

#### PENNOD III.

DYMA ni yn awr yn cychwyn ar daith ein gobaith a'n cysur; cysur wrth feddwl cyfarfod â'r golygfeydd yma a thraw, a thrwy y cysur hwnw yn llawen mewn gobaith cael cyn hir gyrhaedd New York yn ddiogel.

Gorchwyl cyntaf y teithiwr yn yr America, fel pob gwlad arall, os bydd yn bwriadu teithio gyda'r rheilffordd, ydyw ceisio "*ticket*," ac mae yn llawn mor angenrheidiol iddo dalu am dano yno âg yn unman arall; ac yr ydym yn cael hwnw y peth diweddaf cyn cychwyn o San Francisco, ynghyd a "*check*" ar y *luggage*—neu yn ol gair y wlad "*baggage*," yr hwn sydd yn fath o sicrwydd y byddant yn cael eu hanfon yn ddiogel mor bell ag y bydd y tocyn yn cyrhaedd; a phe baent heb nac enw na phreswylfod arnynt, gall eu perchenog fod yn hollol dawel ei feddwl y byddant ymhen y daith yr un adeg ag yntau.

Er mwyn cael y *train* rhaid myned ar draws y *Bay*, gwaith rhyw ddeng mynyd i'r eithaf o forio, ac yna cawn ein hunain mewn lle o'r enw Oakland, yr ail ddinas mewn maintioli ar draeth y *Pacific*, yn cynnwys tua 34,700 o drigolion, ac yn cael ei hamgylchynu gan dderw-lwyn bytholwyrdd. Yma y mae'r Brifysgol, neu Athrofa California, yn sefyll, y Coleg Milwrol, ynghyd a'r mynachdy tra helaeth perthynol i'r Pabyddion. Gellir gweled yr holl eglwysi ymron ar yr un olwg oddiwrth eu pinaclau, ynghyd a nifer mawr o neuadd-dai perthynol i'r *Freemasons* a'r *Oddfellows*, ynghyd a nifer mawr o "*fellows*" eraill. Cychwyna y *train* oddiyma ychydig wedi pedwar y prydnawn, ar ei daith tua'r dwyrain; ac ymhen ychydig amser bydd brenin y dydd yn disgyn i'w wely yn y gorllewin draw, a'r nos yn dechre taenu ei mantell ddu drosom, ac felly nid oes ond ychydig i'w weled y noswaith gyntaf. Ond er hyny gwelwn bethau na welwyd erioed mohonynt yn Lloegr na Chymru. Diammheu y barnai llawer mai cosb i'r eithaf iddynt hwy a fuasai treulio saith neu wyth o ddyddiau a nosweithiau mewn cerbyd ar y rheilffordd; ond cofied y rhai hyny mai nid *boxes* cyffelyb i'r cyfryw a geir ar reilffyrdd ein gwlad ni sydd wedi eu parotoi ar gyfer y teithwyr yno, ond lleoedd cyfleus a chysurus ar eu rhan. Ymhob cerbyd mae lle i oddeutu 150; ac yn canlyn y rhai yna mae nifer o *dining* a *sleeping saloons*, ac yn ychwanegol at hyny caiff dyn godi a cherdded oddiamgylch os bydd yn dewis.

O Oakland i Ogden, neu gwr y Llyn Halen, hen gartref Brigham Young, llywydd a phrophwyd y Mormoniaid, teithiem gyda'r *Central Pacific Railway*, pellder o 840 o filldiroedd. Oddiyno i Omaho, 1000 o filldiroedd ymhellach, awn gyda'r *Union Pacific Railway*, ac 800 milldir ymhellach cyrhaeddem Chicago, gyda'r *Rock Island Railway*. Fe allai mai nid ofer fyddai nodi ychydig o ffeithiau ynglŷn â'r ddwy reilffordd gyntaf, sef y *Central Pacific* a'r *Union*, y rhai oedd yn dra anghenrheidiol i gysylltu y ddwy gyfran fawr o'r wlad â'u gilydd. Oferedd o'r mwyaf a fuasai dychymygu ychydig flynyddau yn ol am y fath anturiaeth trwy wlad na wyddid ond ychydig am dani, heblaw ei bod yn meddiant ac o dan lywodraeth yr anwaraiddyn. Erbyn hyn, os nad ydyw yn blodeuo fel y rhosyn, mae o leiaf yn llwybr diogel i'r oes bresennol rhag syrthio yn aberth i fwystfilod gwyllt, neu i saeth wenwynig yr Indiad anwar. Peth arall oedd yn rhwystr o'r mwyaf yn ngolwg y werin ydoedd tori mynedfa trwy y *Sierras* neu y *Western*

*Rockies;* a thybid mai gwaith oesoedd fyddai hyny. Ond yn fuan dygwyd y fath anturiaeth i fod o dan y Llywydd Lincoln, yn 1862, a'r Llywodraeth yn rhoddi hawl *(grant)* o dir ar y ddwy ochr i'r ffordd, yr hon a gynnwysa 22,785,104 o erwau, sef 13,295,104 i'r *Union*, a 9,440,000 i'r *Central;* a chyfrifir fod y costau cydrhwng y ddwy yn cyrhaedd y swm aruthrol o 186,498,900 o ddoleri, neu oddeutu £38,853,937.

Y lle nesaf o bwys a gyrhaeddem ar ol gadael Oakland ydyw Vallejo, tref fechan yn gorwedd i'r de-ddwyrain, ar lethr y bryniau sydd ar gŵr Vallejo Bay, yr hwn sydd yn bedair milldir a hanner o lêd, ac yn borthladd diogel i lestr o'r maintioli mwyaf allu gorwedd o gyrhaedd pob ystorm; ac yma mae y rhan fwyaf o'r llynges berthynol i'r Unol Daleithiau yn yn cael eu cadw pan na fydd anghen am eu gwasanaeth. Diammheu mai dyma un o'r manau prydferthaf a gyfarfyddwn ar hyd yr holl ffordd. O'n blaen i'r dwyrain gwelwn fryniau uchel Buscala, ac ymhell draw i'r gogledd cawn olwg ar ddyffryn Napa, yr hwn sydd ddeugain milldir o hŷd; ac yn codi yn y pellder gwelwn fynydd St. Helena. Trown i'r gorllewin, a syrthia ein llygaid ar y ddau ddyffryn mwyaf cyfoethog a thoreithiog a fedd y byd, sef y *Sonama* a'r *Red Russian Valleys.* Ac yn terfynu ar y rhai hyna y mae'r coedwigoedd anferth a adnabyddir wrth yr enw *Redwood Forests.* Ymhellach eto i'r gorllewin gwelwn y *Coast Range*, a'r clogwyn uchaf, sef *Mount Tamalapis*, 2600 o droedfeddi uwchlaw y môr. Yma yr ydym mewn llawn heddwch am beth amser ar làn y *Straits of Carquinez*, oddeutu dwy filldir o lêd, yr hwn y mae yn anghenrheidiol i'w groesi. Dyma y dadgysylltiad cyntaf a gawn ar hyd yr holl ffordd. Gallasent wneyd ffordd i'r orsaf nesaf heb groesi yma; ond buasai hyny yn 62 o filldiroedd ymhellach. Felly er mwyn taflu ymaith bob anghyfleusdra, adeiladwyd *steamer* y *ferry* fwyaf yn y byd, sef y *Solano*, yr hon a'n cyrchodd drosodd, gan gymeryd y *train* a'i gyfangwbl ar ei bwrdd, braidd heb yn wybod i lawer o'r teithwyr nes cawsant eu hunain ar y làn draw, gan ei bod wedi ei gwneyd mewn ffurf o orsaf. Ar ol croesi yma, yr ydym yn glànio yn Benicia, yr hon oedd gynt yn brifddinas y dalaeth, yn cynnwys rhyw ddwy fil o drigolion. Yma mae yr ystordŷ arfau perthynol i'r Llywodraeth, ynghyd a'r llu-esttŷ; a dyma yr unig fan sydd yn meddu ar *Law School* perthynol i dalaeth California.

Teithiwn ymlaen am oddeutu 60 milldir, a deuwn o hyd i ddinas Sacramento, ar làn afon Sacramento, yr hon sydd yn arllwys ei dyfroedd i *Vallejo Bay.* Yn y tymmor gwlyb gwelwyd y dyfroedd yn codi ac yn golchi y cyfan a ddeuai i'w cyffyrddiad, a thrwy hyny llwyr ddinystriwyd y ddinas lïaws o weithiau. Ond erbyn hyn y maent wedi gorchfygu yr anian yna am beth amser, trwy godi oddeutu deg troedfedd ar y ddaear ar ba le y mae y dref yn sefyll; a diau yr edrycha yn beth rhyfedd i ddyeithriaid fod dinas wedi ei hadeiladu o gwbl ar y fath le peryglus. Eithr pan ei sylfaenwyd gyntaf, yr oedd yr afon yn meddu ar geulan digon uchel i gadw y dwfr yn ei redegfa, hyd nes y darfu i'r mwngloddwyr fod yn llwyddiannus i ddwyn allan yr aur ychydig yn uwch i fyny; ac er y pryd hwnw y maent wedi llenwi gwaelod yr afon am bellder mawr gyda'r gweddillion, fel y mae yn uwch yn awr oddeutu deunaw troedfedd, na phan yn rhedeg yn ol ei natur. Ar hyd yr ochrau yma ceir gweled llawer o'r coed sydd â'u henwau yn lled adnabyddus, sef y *Madrone*, y rhai sydd yn bwrw eu rhisgl bob blwyddyn, yr un adeg ag mae coed eraill yn bwrw eu dail. Maent o liw goleu am beth amser ar ol colli eu rhisg, ond yn tywyllu yn raddol fel y mae'r newydd yn tyfu. Ceir gweled yn aml goeden fechan arall a elwir y *Manzanita*, yr hon sydd yn cael ei dadwisgo fel y llall, ac yn dwyn ffrwyth toreithiog o fath o rawn mân. Mae ei gwraidd yn nodedig am ei wydnwch, ac yn cael ei ddefnyddio yn gyffredin i wneyd *boxes* bychain, ynghyd a ffyn a phethau eraill.

# Darlleniadau Detholedig.

### MASNACH A MASNACHWYR.

GORCHYMYNIR i ni yn ngair Duw wneuthur pa beth bynag sydd wir, gonest, cyfiawn, pur, hawddgar, a chanmoladwy. Dyna yw cyfraith Crist mewn perthynas i fasnach; dyna gyfundrefn y Testament Newydd am foesoldeb trafnidiol, oddiwrth ba un na ddylid ymadael. Ond dywed llawer o broffeswyr wrthym, os na wnânt i ryw fesur gydffurfio âg arferiadau pobl eraill yn y dull o ddwyn eu *business* ymlaen, er nas gellir cyfiawnhâu yr ymarferion hyny yn ngwyneb yr Ysgrythyr, nad yw yn bosibl iddynt fyw. Yna, meddaf, *ni ddylent* fyw, sef byw yn yr ystyr a roddant hwy i'r gair. Beth yw yr ystyr hwnw? Nid na fedrant gadw eu heinioes, ond na fedrant fyw mor gysurus, meddu tŷ mor dda, gyda'r fath ddodrefn harddwych, a chan fwynhâu ymborth mor ddanteithiol. Ond beth a ddywed Crist? "Os dy law ddehau a'th rwystra, tòr hi

ymaith; gwell yw i ti fyned i mewn i'r bywyd yn anafus, nag â dwy law genyt fyned i uffern i'r tân anniffoddadwy. Y neb a fyno ddyfod ar fy ôl i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes, a dilyned fi." Bu oes ar yr eglwys pan yr arddodid ar ei haelodau losgi ychydig arogldarth i gerfddelwau y duwiau neu yr ymherawdwyr; ac os na chydsynient â'r cyfryw orchymyn, llusgid hwy ymaith i'w dryllio yn ddarnau yn yr amchwareufa; a chaed lliaws aneirif yn aberthu eu bywydau yn hytrach na chydffurfio â'r arddodiad eilunaddolgar. Beth yw y prawf ar gywirdeb yn awr? Nid talu gwarogaeth addoliad i Jupiter, neu i Trajan, ond plygu y glin a llosgi arogldarth i Mammon. Ac ai ni chaiff fod merthyron i foesoldeb cristionogol, megys y bu unwaith ferthyron i'r athrawiaeth gristionogol? Os nad allasai y cristionogion boreuol wasanaethu Duw a Jupiter, a geisiwn ni wasanaethu Duw a Mammon? Os nad oeddynt hwy yn petruso aberthu eu *bywydau* er mwyn eu proffes, ai rhy galed yw i broffeswyr yn bresennol roddi i fyny gyfran o'u *henillion?* Masnach yw prawf yr eglwys yn y dyddiau hyn; ac arswydlawn yw y dynoethiad a wna ar laweroedd.

Fasnachwyr crefyddol, goddefwch air y cynghor. Ewch â'ch proffes gyda chwi i'ch trafnidiaeth; a bydded i'ch cymeriadau fel masnachwyr ddal i fyny anrhydedd eich proffes gristionogol. Gadewch i'r egwyddor o uniondeb eich llywyddu yn eich masnachdŷ, a'r ymarferiad o gynnildeb yn eich preswylfa. Attolwg yr wyf arnoch ymogelyd rhag dull ymddangosiadus ac afradus o fyw. Peidiwch a meddwl am dŷ mawr, trigfa fel palas ar wahân oddiwrth eich masnachdŷ, cerbydau i'ch cludo, a'r fath bethau, nes i chwi fod yn hollol sicr y gellwch dalu am danynt. Na fydded i lif cyntaf llwyddiant ansicr beri i chwi ymollwng i gostau na ddylech fyned iddynt nes cael hir brawf o lwyddiant eich masnach. Ac os bydd y llanw yn dechre troi a'r trai wedi cychwyn, lleihewch a chwtogwch eich treuliadau yn ddioedi. Na pharhewch i ddal i fyny ddim rhwysg a moethusrwydd ar gôst eich gofynwyr, fel pe byddech yn benderfynol i beidio rhoi i fyny eich dull costus o fyw hyd nes y byddo i law grêf y gyfraith eich gorfodi. Na fydded i ddim gau-gywilydd beri i chwi ofni cael eich drwgdybio o fod yn dlawd. Dangoswch yr egwyddor onest a baro i chwi benderfynu na chymeroch un mwyniant i chwi eich hunain ar draul pobl eraill.

Yr anhawsder mawr gyda masnachwr yn myned yn ol yn y byd yw gwybod pa bryd i sefyll ac ymattal. Llawer sydd wedi benthyca oddiwrth eraill pryd nad oedd un golwg rhesymol am dalu drachefn. Dylai dyn y byddo ei amgylchiadau yn dechre dyrysu fod yn hynod ochelgar mewn gofyn am fenthyg arian oddiwrth ei gyfeillion, neu gael eu henwau wrth rwymysgrif. Ni ddylai dim llai na hollol sicrwydd am alluogrwydd i unioni â hwynt ganiatâu iddo ddeisyf eu cynnorthwy. Efe a ddylai, wrth gwrs, hysbysu iddynt *y gwaethaf* am ei amgylchiadau, fel y byddont yn wybodus am y cyfan cyn iddynt estyn yr help gofynedig. Yn yr ymgais i'w cadw eu hunain rhag dinystr, y mae llawer wedi rhwydlusgo eraill i lawr gyda hwynt.—*J. Angell James.*

---

### LLWYDDIANT GWEDDI.

Y MAE yr Arglwydd yn gwrandaw ar lef dyn. Mae gweddi wedi llwyddo dros rai annuwiol iawn. Arbedwyd Soar ar gais Lot. Pa sawl gwaith yr arbedwyd yr Israeliaid ar ddymuniad Moses? Hi a lwyddodd mewn amgylchiadau annhebyg iawn: Manasseh yn ngharchar Babilon, Jonah yn mol y morfil, y lleidr ar y groes. Hi a lwyddodd mewn perthynas i bethau bychain iawn. Er mewn gwirionedd ar raddeg fawr creadigaeth Duw nad oes dim bychan yn bod, eto y mae rhai pethau yn ymddangos felly i ni. Ond pa beth sydd yn rhy fychan i weddi? Os bydd Hagar wedi methu cael y ffynnon, fe ddaw Duw i'w dangos. Os bydd gwas Abraham yn ofni na lwydda efe i gael gwraig i fab ei feistr, arweinir hi gan Dduw ato ef. Y fath ragorfraint ydyw hon sydd yn perthyn i'r ddaear; gweddi dyn yn llwyddo yn y nef! Heb y rhagorfraint hon, buasai y byd hwn i'w arswydo mewn gwirionedd. Y mae ei gyfnewidiadau mor aml, a'i beryglon yn aneirif, a ninnau yn agored iddynt oll, yn rhy anwybodus i'w hosgoi, ac yn rhy weiniaid i'w gwrthsefyll. Ond yr ydym wedi ein geni yn freiniol; y mae genym ryddid i ymguddio o dan gysgod adenydd yr Hollalluog—i ffoi ymhob perygl i'r breichiau tragywyddol. Nid rhyfedd i Moses wrth edrych ar y fath ragorfraint ofyn, "Pa genedl mor fawr, yr hon y mae Duw iddi yn nesâu ati, fel yr Arglwydd ein Duw ni, ymhob dim a'r y galwom arno?" Os abwydyn ydyw dyn, mae Duw yn gwrandaw ar ei lef ef. Os pentref anenwog ydyw'r ddaear, mae'r Nefoedd wedi ymrwymo i wrandaw pan lefo. Cyfnewidied y ddaear, ymgasgled peryglon, dued y cymylau, rhuthred y gwyntoedd, ffyrniged yr ystorm, nid all y bydd hi yn galed iawn arnom tra y bydd genym Dduw yn agosâu atom ymhob dim y galwom arno, ac yn enwedig Duw fel yr Arglwydd ein Duw ni, yr hwn y mae cyfnewidiadau y ddaear dan ei lywodraeth, y cymylau yn gerbyd iddo, sydd yn marchog ar adenydd y gwynt, ac yn trigo yn nghanol y dymhestl! Tra bydd y rhagorfraint hon genym, bydd genym bob peth, ac hebddi ni bydd genym ddim. A ydym wedi ei defnyddio? Buasai trefi China wedi eu taflu yn agored yn ofer oni buasai ein bod yn cario ymlaen fasnach â hwynt. Ai yn ofer y talwyd y swm mawr am y fraint hon ar bren y groes? Ië, i bawb ond i'r Israeliad yn wir. Ond y mae efe yn masnachu yn feunyddiol â'r wlad well; hyny ydyw ei alwedigaeth. Pe gofynid iddo, fel y gofynodd y morwyr i Jonah, Beth yw dy gelfyddyd di, yr ateb fyddai, Gweddiwr. "Minnau a arferaf weddi."—*Edward Morgan, Dyffryn.*

### ARWIREBAU.

*Briwfwyd o gwpbwrdd Sali Meurig.*

LLE y cewch un dyn i farnu oddiar reswm, gellwch gael cant i farnu oddiar nwyd neu ragfarn.

Po uchaf eich sefyllfa, mwyaf o berygl sydd i chwi benfeddwi.

Tybygid nas gall hen lanc, heb chwaer ofalus i edrych ar ei ol, fod yn gysurus iawn.

Dysgwyl i chwedleuwraig gadw cyfrinach sydd gyffelyb i gymeryd gogr i ddal dwfr.

Arian wedi pentyru, ar ol unwaith ddyfod yn rhydd, a welir yn rhedeg ymaith i bob cyfeiriad.

Y ffordd feraf i'r fynwent sydd drwy'r tafarndy.

Dylai merch ieuanc edrych am gymeradwyaeth ei rheswm a'i chydwybod, yn gystal â chydsyniad ei chalon, cyn rhoi ateb ffafriol i'w hymgeisydd.

Gweithiwch yn ddiwyd pan yn ieuanc fel y caffoch fodd i orphwys pan yn hên.

Yn gyffredin mae y rhai sydd afradlawn mewn addewidion, yn gybyddlyd mewn cyflawniadau.

Mae natur yn ymgyfaddasu at ein hanghenion. Wedi i ni golli ein dannedd, daw bwyd llŵy yn fwy archwaethus genym.

Os dymunwch gael gwasanaethyddion da, mynwch rai a all godi yn fore; ac er mwyn rhoddi yr esiampl oreu iddynt, codwch yn fore eich hun.

Gall ysgol wneyd un yn ddysgedig, ond rhaid cael profiad cyn y byddo yn gall.

Rhywbeth iselwael yw dywedyd yn nghefn un yr hyn na fynech ddyweyd yn ei wyneb.

Mae teulu yn debyg i awrlais, lle mae gan bob olwyn rywbeth i'w wneyd, a lle mae un olwyn gyfeiliorn yn anhwyluso'r cwbl.

Cymered dyn y neb a fyno i brynu ceffyl iddo; ond myned yn bwyllog ddewis gwraig iddo ei hun.

Dyn yw yr unig anifail a welir yn yfed heb fod yn sychedig.

A siarad yn fanwl, nid oes un dyn yn annibynol ar ddyn arall. Gall y crydd, os myn, orfodi'r pendefig i gerdded yn nhraed ei hosanau.

Ceisio am anrhydedd bydol sydd ddringo ysgol—araf yn myned i fyny, a chyflym yn dyfod i lawr.

Anghymhwys iawn i lywodraethu eraill yw creadur heb lywodraeth ar ei dymher ei hun.

Dylai'r neb sydd yn cymeryd hir amser i adrodd ei ystori, gofio ei fod yn lladrata amser sydd yn perthyn i bobl eraill.

Mae ein dwylaw yn llawer mwy gwerthfawr i ni na'n coesau, ac felly y mae Rhagluniaeth dirion yn caniatâu i ni eu defnyddio yn llawer hwy.

Pa mor ddoeth bynag y gellwch chwi fod, credwch fod eto lawer o bethau yr ydych yn anwybodus o honynt.

A ydyw mab neu ferch yn wir foneddigaidd sydd beth y gellwch ei gael allan yn eu cwmni yn ebrwydd.

Nid gwraig dda at gadw tŷ yw hono sydd yn wastad yn prynu ceiniogwerth, a dim mwy, o'r hyn sydd wir angenrheidiol.

Anhardd yw i ŵr ieuanc fod yn chwannog i ddadleu â rhai llawer hynach nag ef pan mewn cwmniaeth.

Gwell cael pobl ddrwg yn elynion i ni na'u cael yn gyfeillion.

Mae gwrês a geir trwy gerdded neu weithio yn fwy naturiol ac yn fwy parhâus nag a geir trwy ddyfod ar unwaith at dân mawr; felly y mae cyfoeth a ennillir trwy ddiwydrwydd yn llawer mwy mwynhäol na'r hyn a ddaw i ran dyn yn dra disymwth.

Camp yw gwneyd llawer o dda heb gadw ond ychydig o sŵn.

Hawdd troi'r gwŷn yn ysgarlad, ond mae maddeuol râs yn troi'r ysgarlad yn wŷn.

Nid y credu yn Nghrist sydd yn cadw, ond y Crist y credir ynddo.

## Barddoniaeth.

### EMYNAU DIOLCHGARWCH AM Y CYNAUAF.

*Gan* MR. J. CLWYD WILLIAMS, *Tryddyn, Sir Fflint.*

EMYN I. M. H. (M. 5.)

I TI, O Dduw, Greawdwr byd,
Rhown fawl i'th enw ar bob pryd;
Mor weddus in' bob mynyd awr,
Foliannu Arglwydd Nef a llawr!

Pwy ond Efe sydd deilwng iawn,
I dderbyn mawl am ryfedd ddawn
I ni greaduriaid tlodion sydd
Yn dysgwyl wrtho Ef bob dydd?

Mae 'i ofal fel ei Hunan Mawr,
Anfeidrol yw at lwch y llawr;
Diwalla 'r byd fel tyner Dad;
Diderfyn ei drugaredd rad.

Pwy all ofalu fel Efe
Am bob creadur is y ne'?
O'i law anfeidrol derbyn wnawn,
'D oes derfyn i'w amrywiol ddawn.

Ei law ei Hun y sydd bob awr,
Ar olwyn ei ragluniaeth fawr,
Yn trefnu ini wlaw a gwrês;
'D oes dymmor nad yw er ein lles.

Mae dy ddaioni, Arglwydd Iôr,
I ni 'n ddihysbydd fel y môr;
O boed ein calon am dy ddawn,
Mewn nefol hwyl ddiolchgar iawn.

EMYN II. M. C. (M. 8.)

Gogoniant fyth a fo i'r Tad,
Hyn fo ein huchel lef;
Am ei anfeidrol gariad rhad,
Diolchwn iddo Ef.

Y mae 'r tymmorau yn ei law,
Mae 'n llywio dae'r a nef;
Yr oll a gawn oddiwrtho ddaw,
Diolchwn iddo Ef.

Efe sy' 'n peri gwlaw a gwrês
Sy' 'n fywyd gwlad a thref,
A'r mwyn awelon er ein lles;
Diolchwn iddo Ef.

Efe sy 'n parotoi o hyd,
  Ein lluniaeth—gwrendy 'n llef;
Ac O am roddi ini 'r yd,
  Diolchwn iddo Ef.

Ei eiddo Ef yw 'r haul clir
  Sy 'n ymdaith yn y nef;
Ac am ei wrês i ffrwytho 'r tir
  Diolchwn iddo Ef.

Mae ffrwyth ein daear heddyw 'n glyd,
  Mae ffon ein bara 'n gref;
O lei 'n gwefusau rhown i gyd,
  Diolchwn iddo Ef.

EMYN III. M. 8 7 4. (M. 7.)

Dyma ddydd i lawenychu,
  Ac i ddiolch llawer iawn;
Dydd cydnabod Duw y duwiau
  Am anfeidrol ddwyfol ddawn!
    Rhoddwn foliant
  Am ein cofio iddo Ef.

Fe orch'mynodd i'r haul godi
  A thywynu ar ein gwlad,
Fe orch'mynai 'r tir i ffrwytho,
  Er digonedd i bob stâd;
    Am ei radau
  Mawl sydd deilwng iddo Ef.

Fe roes hin i drin y ddaear,
  Rhoes y cynnydd wedi hyn;
Fe ofalodd i'r eginau
  Dyfu 'n d'wysau melyn wyn;
    Am ei ofal
  Talwn ein dyledus fawl.

Gwynt a gwrês sydd wrth ei alwad,
  Er addfedu ffrwyth y tir;
Mae yn rasol wedi 'n cofio,
  O'i anfeidrol gariad gwir;
    Bendigedig
  Fyddo 'i enw byth am hyn.

EMYN IV. M. 7 6. (M. 9.)

Rhown glod i Dduw rhagluniaeth,
  Ac Arglwydd nef a llawr;
Ei ofal Ef am danom
  Eleni sydd yn fawr,
Mae gobaith ar y ddaear,
  Anifail fel y dyn;
Mae 'n ddiddos yr ydlanau,
  Boed mawl i'w enw cun.

Mae gofal Duw yn ddigoll
  Rhoi pobpeth yn ei bryd,
A'i arlwy yn anfeidrol,
  Ei fwrdd un faint â'r byd:
Yn mawredd ei ofalon
  Y llecha dynol ryw;
Mae 'i ofal fel ei fawredd,—
  Diderfyn ydyw Duw.

Am ei diriondeb tadol,
  Yn ein diwallu ni,
A'n gwisgo er ein clydwch,—
  Bob awr yn gwrando 'n cri;
O canwn byth ei foliant,
  Mae 'n fendigedig Un;
A chredwn—dyna 'r talu,
  Mewn Duwdod yn y dyn.

EMYN V. M. 7 4. (M. 25.)

Meibion dynion cedwch wyl,
  Er hyfrydwch;
Canwch iddo Ef mewn hwyl
  Ddiolchgarwch;
Gwnaeth â ni yn hyfryd iawn,
  Er ein beiau;
Mae 'n hydlanau heddyw 'n llawn
  Trugareddau.

Moliant fyth a fo i'r Tad,
  Am ein cofio;
Rhag y newyn,—cadw 'n gwlad,
  Diolch iddo:
Y mae 'r adar yn y nef,
  Yn ei foli;
Cyd-ddyrchafwn ninnau 'n llef
  I'w glodfori.

Mae 'i fendithion dros y byd,
  Yn llifeirio;
Cymwynaswr yw o hyd,
  Pwy wna 'u rhifo?
Yn ngwrês cariad mwya 'r Nef,
  Ar Galfaria,
Canwn anthem iddo Ef,
  Haleluwia.

EMYN VI. M. 8 7 D. (M. 10.)

Dyma 'r dydd i dalu diolch;
  Diolch beunydd yw ein lle;
Nid oes fynyd awr i'w golli;
  Mawr yw 'r gwaith a wna Efe,
Pwy fesura 'r trugareddau?
  Pwy a bwysa 'i gariad rhad?
Mae 'i ddaioni yn annhraethol,
  Yn gorchuddio yr holl wlad.

Mae 'i ddaioni yn y cwmwl,
  Yn y ffrydlif—trwy y tir,
Yn y gwynt a'r gwrês a'r cyfan,—
  Amlwg yw ei gariad gwir:
Nid oes fan y gallwn sangu;
  Nid oes le y gallwn droi,
Nad ymysg y trugareddau
  Y mae 'r Arglwydd wedi 'n rhoi.

Rhoi tymmorau oer a chynhes
  Ini er cymhwyso 'r tir,
Rhoi y gwrês i wneyd yn addfed,
  Ffrwythau 'r ddaear—hyn sydd wir,
Rhoi a rhoi, heb fyth yn grwgnach,—
  Rhoddwr llawen ydyw Ef;
Rhoddwn ninnau iddo 'r moliant,
  Nes adseinio 'r drydydd Nef.

EMYN VII. M. S. (M. 4.

I dalu diolch de'wn ar frys,
  Mae 'n hysbys ini 'n dyled,
Am drugareddau rhad ein Duw,
  O'n deutu sydd i'w gweled.

O'i law haelionus rhoddi wnaeth
  Eleni 'n odiaeth ini;
Rhown ninnau foliant iddo 'n awr;
  Mor fawr yw ei ddaioni!

Tynhawn ein tannau gyda brys,
  I roddi melus foliant,
I'r Arglwydd Iôr a wnaeth mor dda
  Rhyglydda y gogoniant.

Gwrandewch ar adar mân y nef,
  Da iddo Ef y pynciant;
A'u cywir fawl i'w Harglwydd Nêr,
  Mor bêr a leinw 'r ceunant.

O rhoddwn ninnau fawl i'r Iôr,
  Mor bur â chôr y llwyni;
A'n pêr ganiadau am ei râd
  A lanwo 'r wlad eleni.

O Arglwydd Iôr, rho 'th Ysbryd di,
  Er ini 'th foli 'n gywir;
Gwna 'n calon yn ddiolchgar iawn
  Hon yw y ddawn dderbynir.

EMYN VIII. M. 148 neu 6 8. (M. 6.

Dewch heddyw, fawr a mân,
  O flaen ei orsedd fawr;
Dadseiniwn fawl ar gân,
  Holl lwythau daear lawr;
Mae ei fendithion yn ddi ri,
Rhoi mawl i Dduw sydd dda ni

'D oes eisieu ebyrth hael,
Yr anner gôch na 'r oen;
Mae Aberth wedi 'i gael
Ddyoddefodd Ddwyfol boen;
Ac mwyach aberth calon lawn,
O ddiolchgarwch wna yn iawn.

O dyro, Arglwydd da,
Y galon bur i ni;
Y galon lawn o bla
Ni wna i'th foli Di;
O dyro galon lawn o ffydd,
Er dy foliannu bob rhyw ddydd.

Da ini ydyw Duw,
Mae yn cyfnerthu 'r gwael;
Diwalla bob peth byw,
Yn ei drugaredd hael;
Am fwrdd yn llawn danteithion pêr,
Boed bythol glod i'n Harglwydd Nêr.

---

BYRDRA BYWYD.

*Tôn—St. Silvester.*

Oriau 'n bywyd sy 'n ein treiglo
Tua 'r tragwyddolfyd mawr;
Buan iawn y cawn ein cuddio
Gyda 'n tadau 'n llwch y llawr.

Iesu grasol! ein Gwaredwr,
Deffro di farwolion byd;
Deffro enaid pob breuddwydiwr
'N awr i geisio 'r trysor drud.

Dwg bob dyn i ddwys-ymofyn
I ba wlad y mae 'n nesâu;
Ai i fro yr hedd diderfyn?
Ynte tua bythol wae?

Darfod mae 'n dydd, angeu sy 'n d'od
Dysg i ni, Iôr, fyw er dy glod:
Nesu mae 'n hawr, ein holaf awr!
Cymer ein gofal ni, Iesu mawr.

Arglwydd, rho ddoethineb ini
Ar ein gyrfa yn y byd;
Arwain ni ymhob dyryswch,
Cyfarwydda ni o hyd.

Maddeu 'n rasol bob rhyw golliant,
Mae maddeuant gyda Thi:
Nac ymwel â ni mewn soriant;
Mewn trugaredd cofia ni.

Pan ger bron y frawdle fanol,
Na foed i ni deimlo braw;
Ond ymysg y dorf waredol,
Dod ni ar dy ddeheu law!

Darfod mae 'n dydd," &c.—Amen.

T. Bangor.

---

# Bwrdd y Golygydd.

## SWPER YR ARGLWYDD.

Mr. Golygydd,- Yn nechre y flwyddyn hon, ymddangosodd llythyr yn y Drysorfa gan Mr. J. Davies, Salford, ar y testun uchod, sef Swper yr Arglwydd, a hyny gyda golwg ar y gweinyddiad o hono, neu fel y dywed efe, "gyda chyfranu yr ordinhâd o swper yr Arglwydd;" a dysgwyliais hyd yn hyn am i rywrai neu rywun roddi sylwadau chwanegol ar y mater hwn, gan fy mod yn ymsynio ei fod o bwys a gwerth. Ond gan na ddaeth neb arall ymlaen, tueddir fi i ateb fy rhan a dangos fy meddwl ar yr hyn a nodir gan Mr. Davies.

Dywed efe mai gwell ganddo i'r gweinidog ei hun gyfranu yr holl elfenau. Pa beth a olyga wrth hyny? Nid yn ddiau i'r ordinhâd gael ei gweinyddu gan ddim ond un gweinidog pryd y byddo gweinidog arall wrth law i'w gynnorthwyo, ond mai y gweinidog sydd i gyfranu y bara a'r gwin, ac nid blaenor neu flaenoriaid i'w helpio. Ni ddyry Mr. D. yr un rheswm am ei farn hon; ac nis gwn i pa reswm a all efe ei dwyn ymlaen ynghylch hynyma. Dyna eglwys yn ddau, tri, neu bedwar cant o aelodau, ac wele y rhan fwyaf o'r rhai hyny wrth fwrdd y cymun ar y pryd. Mae y gweinidog wedi bod eisoes yn darllen, gweddïo, a phregethu; ac y mae hyny ynghyd a'r canu mawl, a'r cyhoeddi, ac hwyrach y casglu, wedi myned âg awr a hanner o amser er dechre yr odfa. Y mae gwasanaethyddion neu wasanaethesau âg anghen iddynt fyned i'w tai yn fuan bellach, a mamau, rai, wedi gadael eu babanod gartref, ac yn hen bryd iddynt ddychwelyd atynt, heblaw fod wrth y bwrdd frodyr a chwïorydd mewn henaint a llesgedd, a chyfarfodydd meithion yn feichus i'w natur. Yn awr, rhodder blaenor, neu flaenoriaid, i gynnorthwyo; efe neu hwynt yn myned â'r gwin oddiamgylch tra byddo'r gweinidog yn myned â'r bara; a dyna'r cymuno yn cymeryd llai o'r hanner o amser nag a fyddai wrth i'r "gweinidog ei hun gyfranu yr holl elfenau." Onid yw y blaenoriaid, neu'r diaconiaid, yn gwneuthur hyny ymysg yr Annibynwyr a'r Bedyddwyr? Iê, yn wir, onid ydynt hwy, neu y *ruling-elders* fel eu gelwir, yn gweinyddu yr elfenau ymysg y Presbyteriaid, pa un bynag ai Ysgotig, Gwyddelig, neu Seisonig a fyddont? Ac, wrth hyn caiff y gweinidog fwy o hamdden i feddwl a llefaru ar y gwirioneddau mawrion ynglŷn â mawrolaeth yr Arglwydd; a chyda hyny, sef iddo ef lefaru, "os bydd ei ysbryd yn wresog, y ceir mwyaf o flâs ar y cymundeb," yn ol addefiad Mr. J. D. Da genyf fi ddeall fod y drefn hon i'w chael yn myned ar gynnydd yn Nghymru, pa fodd bynag y mae tua Manchester a Salford. Fe allai y bydd genyf ychwaneg i'w ddywedyd dro eto ar y testun. —Yr eiddoch, &c.,

D. H. D.

*Penllyn.*

---

## "DROS GYFANFOR A CHYFANDIR."

Ymddengys ein bod wedi gwneuthur camgymeriad yn ein hadolygiad yn rhifyn Gorphenaf ar y llyfr dan y teitl uchod. Dywedem

am yr awdwr, y Parch. W. D. Evans, mai Wesleyad yw efe. Cymerasom hyny yn ganiatäol oddiwrth ei adroddiad am Delaware. "Yn Delaware," medd efe, "y bum yn y blynyddoedd 1863—9 yn myfyrio yn yr *Ohio Wesleyan University*." Efe a ddywed, yn wir, yn fuan ar ol hyny, "Yn yr eglwys Fethodistaidd yn Columbus, yn nechre y flwyddyn 1868, y cefais y fraint o ddechre ar fywyd cyhoeddus." Ond gan na ddywed mai eglwys Fethodistiaidd *Galfinaidd* ydoedd, tybiasom mai perthyn i Fethodistiaeth Wesleyaidd yr oedd yr eglwys yno yn gystal âg Athrofa Delaware. Drwg genym i ni fod mor amryfus. Methodist Calfinaidd oedd Mr. Evans hyd yn nôd pan yn yr *University* Wesleyaidd; ac efe yw y "W. D. Evans, Sïon, Nantëos, Aberystwyth," a enwir yn y *Dyddiadur Methodistaidd* ymysg gweinidogion Gogledd Sir Aberteifi. Hysbyswyd ni yr aeth Mr. Evans i'r Athrofa yno am ei fod yn trigiannu yn agos iddi, ac yn enwedig am iddo gael y fraint o efrydu ynddi yn rhad trwy garedigrwydd boneddwr haelfrydig o Wesleyad. Gwelir, pa fodd bynag, mai nid oddiar duedd sectaidd yr oeddem yn arganmawl y llyfr; ac yn ddibetrus yr ail-ddywedwn ei fod yn "llyfr hardd ei ymddangosiad, a darllenadwy iawn ei gynnwysiad," ac "y caiff y neb a'i darlleno lawer o ddifyrwch, ac nid ychydig o addysg, ïe, a lleshâd." Ni bydd neb o'n cyfeillion yn edifarhâu am ei brynu a'i ddarllen. Dysgwyliwn bellach am y llyfr helaethach,—"*Hanes Taleithiau Unedig America a'r Cymry ynddynt*," yr hwn, yn ddiau, a fydd yn gaffaeliad gwerthfawr i'r Cymry o'r tu yma ac o'r tu hwnt i Fôr y Werydd.

---

# Adolygiad y Wasg.

TRAETHODAU BYWGRAFFYDDOL. *Rhif* 2. — RHYS PRICHARD, FICER LLANYMDDYFRI. *Gan* T. L.

Llundain: Cymdeithas y Traethodau Crefyddol.

YN ein rhifyn am fis Chwefror, galwasom sylw at yr un cyntaf o gyfres y *Traethodau Bywgraffyddol*, bywgraffiad y gwir wladgarwr, neu, fel y gellir dywedyd, yr enwog Gymrugarwr, Syr Hugh Owen. Wele yr ail yn myned â ni ymhell yn ol oddiwrth ein diweddar gyfoeswr at un a anwyd er ys dros dri chan' mlynedd (yn y flwyddyn 1579), ond sydd â'i enw yn teilyngu y parch mwyaf oddiwrth Gymry y genedlaeth hon—"Yr Hen Ficer," awdwr *Canwyll y Cymry*. Mewn amser tywyll iawn, yr oedd efe, medd Mr. Charles yn *yr Hen* DRYSORFA (Rhagfyr, 1801), "yn enwog o ran ei weinidogaeth a'i dduwioldeb syml; yn cyflawni ei ddyledswyddau perthynol i bob sefyllfa a pherthynas yn hardd ac yn rasol." Ac am ei ganiadau, dywed Mr. Charles—ac nid oes bosibl cael gwell beirniad:—"Y mae awenyddiaeth pen bardd i'w gweled mewn amryw o honynt; a diammheu ei fod yn feddiannol o gymhwysiadau i brydyddu yn gelfyddgar ac yn rheolaidd; ond nid dangos ei gynneddfau a'i gywreinrwydd oedd ei amcan ynddynt, ond hyfforddio ac adeiladu ei gydwladwyr anwybodus. Yn hyn o amcan rhagorol y mae yn dra sicr iddo lwyddo. Bu ei ganiadau, fel y mae lle i feddwl, yn fendith yn gyffredinol yn ein gwlad. Y mae yn gynnwysedig ynddynt athrawiaeth ragorol iachus, wedi ei gosod allan mewn prydyddiaeth ysgafnaidd ddengar, mewn dull addas i amgyffred y mwyaf anwybodus. Y mae gwirioneddau dwyfol wedi eu heglurhâu ynddynt heb eu hiselu neu eu gwael ddangos. Nid ydynt yn colli eu mawrhydi a'u parch dyladwy, nac yn cael eu gosod allan i warth a dirmyg. Y maent wedi eu cyfansoddi yn agos iawn i ysbryd ac iaith y Bibl, a chywreinrwydd neillduol yn ymddangos yn ei ddull yn cydblethu ysgrythyrau, ac yn coffâu hanesion ysgrythyrol mewn modd hynod addas, er eglurhâd a chadarnhâd o'r mater y mae yn ei drin. Os nad yw ei ganiadau yn rhagori mewn purdeb iaith a chywreinrwydd cynghaneddol prydyddiaeth, y maent yn rhagorol o ran eu sylwedd, a dull yr awdwr yn ei osod allan mewn modd parchus a dyladwy."

Yn hyn o draethawd y mae Mr. Levi yn rhoddi "yn gyntaf fraslun o hanes ei fywyd," gan "roddi yr ychydig ffeithiau sydd ar gael am hanes ei fywyd mewn ychydig o le." A rhydd ddyfyniadau o'r unig bregeth o eiddo'r Ficer sydd ar gael —pregeth "wedi ei thraddodi ddau gant a hanner o flynyddau yn ol, pan oedd y gwrandäwyr yn gorwedd mewn tywyllwch, ac yn ymdrybaeddu mewn pechodau." Y testun yw *Rhuf*. vi. 23. Cawn hefyd amryw bennillion tarawiadol o'r caneuon ar wahanol faterion, yn engreifftiau rhagorol o'u teithi a'u cyfeiriadau. Fel y dywedasom am y traethodyn cyntaf, rhaid dyweyd yr un peth am yr un presennol, a'r un modd, mae yn ddiau, y ceir y rhai dyfodol: "Y papyr a'r argraffwaith yn dda, a'r cynnwysiad yn wir ganmoladwy." Ac yr ydym yn cael arlun o dŷ y Ficer yn Llanymddyfri.

Hyderwn y bydd ein cydwladwyr yn gyffredinol yn rhoddi derbyniad croesawgar i bob un o'r *Traethodau Bywgraffyddol*, yn y rhai y cyfunir gwerthfawrogrwydd a rhadlonrwydd.

**Hiraethgan ar ol y diweddar Barch. John Evans, Croesoswallt** *(gynt o Garston)*. *Gan* Daniel Owen, *yr Wyddgrug.*

Yr Wyddgrug: J. Ll. Morris, argraffydd.

Nid oes eisieu rhoddi unrhyw hysbysrwydd am awdwr yr *Hiraethgân* hon i ddarllenwyr y Drysorfa. Y mae *Y Dreflan*, sydd bellach yn argraffedig yn un llyfr, a *Hunangofiant Rhys Lewis* yn ein rhifynau eleni a'r llynedd, yn gofadeiliau i'w athrylith, ac i'w ymgydnabyddiaeth â'r "dynol deulu." Nid pob llenor sydd yn fardd; ond y mae Mr. Owen yn gyfarwydd mewn mydriaith yn gystal ag mewn rhyddiaith, ac yn hyny mor fedrus mewn englyn âg mewn pennill. Yn yr Hiraethgân o'n blaen, canfyddir ar unwaith awen bardd, cariad cyfaill, ac efengyleiddrwydd cristion. Wedi bod yn gydastudiwr â Mr. Evans yn Ngholeg y Bala, a'r gyfeillach rhyngddynt wedi ei dal i fyny hyd y diwedd, nid rhyfedd fod ei deimlad hiraethlawn am dano yn ymarllwys yn y cyfansoddiad hwn, sydd yr un mor deilwng o'i wrthddrych ac o'i awdwr. Yr oedd y diweddar Barch. John Evans yn meddu enaid cryf mewn corff nychlyd; a phed estynasid ei fywyd gallesid dysgwyl llawer oddiwrtho; ond, fel y dywed y ganiad.—

"Tri chwarter diwrnod gefaist yn y gwaith,
Ti 'roddaist heibio ''n gynnar y prydnawn;
Ond Llyfr y Cyfrif, mewn diamwys iaith
A ddengys wrth dy enw ddiwrnod llawn!
Difefl ymroddiad—ymegnïad llwyr—
Nodweddai 'th fywyd yma ar y llawr,
A'r Brenin alwodd arnat cyn yr hwyr,
'Was da a ffyddlawn, tyr'd i'r swper mawr!'

"Gwell genyt oedd, mi wn, y gwaith na'r wledd,
A dyna pam yr oedaist braidd yn hir
Heb ufuddhâu—nid ofni 'r glŷn na'r bedd,
Ond awydd eilwaith gael pregethu 'r gwir;
Ond llaw dy Feistr gododd gŵr y llèn,
Er mwyn it' weled cyfoeth llawn y bwrdd,
A'r foment hono syrthiodd yr holl gen
Oddiar dy lygaid—tithau êst i ffwrdd!"

Gwir ragorol a bywiog yw y penillion sydd yn darlunio Mr. Evans fel "plentyn natur" yn "yr hen Gynwyd lonydd;" yno "yn lolian gyda'r aber glir a'r llwyn," ac Efengyl yn ei weled "yn mhrydferthwch teg ei foes," ac yn rhoi "lifrai'r Nef am dano," a'r "dyddiau hapus ar fainc y Coleg," ynghydag eraill ddarluniau celfydd. Ond cyfeiriwn y darllenydd at yr Hiraethgân ei hun, yr hon nas gall lai na chyffwrdd â theimladau rhagoraf y galon. Ac yn enwedig am y rhai oll oedd yn gydnabyddus â'i gwrthddrych, hwy a fynant, mae yn ddiau, ei chael iddynt eu hunain, a myned drosti eilwaith ac eilwaith.

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### YR ACHOSION SAESONIG YN NGOGLEDD CYMRU.

Yn lle anfon copïau cyflawn o Adroddiad y Gronfa Saesonig am 1882, gyda'r Drysorfa, fel y gwnaed y llynedd, penderfynwyd yn Nghymdeithasfa'r Wyddgrug gyhoeddi am eleni grynodeb o hono, gan y bydd nifer mawr o ddarllenwyr y Drysorfa eisoes yn derbyn yr Adroddiad cyflawn mewn ffordd arall:—

"Flwyddyn yn ol," medd yr Adroddiad, "yr oedd y Cyfeisteddfod mewn prydar dwys, am ein bod £600 yn fyr i gyfarfod y draul flynyddol, ac heb ddim at gychwyn achosion mewn lleoedd newyddion, lle y mae amryw o'n heglwysi yn dyoddef colledion trymion beunydd o'r herwydd. Ofnir gan y rhai sydd wedi treulio eu holl fywyd i wyllo dros ac i ddeall ansawdd cymdeithas yn Nghymru, ein bod yn y perygl mwyaf o golli ein gafael ar boblogaeth ein gwlad, drwy ein annhueddrwydd i ymdaenu allan o'n ffurf arferol, i gyfarfod amgylchiadau neillduol ein hoes a'n gwlad. Mae dosbarth lliosog o Gymry a Saeson yn ein trefydd yn *settlo* i lawr mewn esgeulusdra mewn canlyniad. Dyna holl Sir Faesyfed, a'i 23,000 trigolion, wedi ei cholli yn llwyr genym. Bu Howell Harris mor lwyddiannus yno ag yn unrhyw sir; ond diflanodd ei holl waith bron yn llwyr ymhen ychydig flynyddoedd, drwy na sefydliwyd eglwysi Saesonig yno, pan oedd yr iaith hono yn ymdaenu dros y wlad. Mae tua 100,000 o drigolion yn Nghaerdydd, ond nid oes ond 8000 o honynt dan ein gofal ni. Dyna un o siroedd Cymru ac un o drefi Cymru, ymysg lliaws eraill, wedi eu colli genym. Ofnir yn fawr y collir siroedd a threfydd eraill lawer yr un modd, ac yr aiff trefydd Cymru mor llygredig â *slums* dinasoedd mawrion Lloegr, oni ragflaenir hyny trwy gymeryd meddiant o'u trigolion drwy waith cenadol effeithiol yn yr iaith Saesoneg, yr hon yn unig a ddeallir ganddynt. Dywedir fod poblogaeth siroedd Mynwy, Maesyfed, Brycheiniog, a Phenfro yn 383,000, ac nad oes ond 9500 o honynt yn aelodau cyflawn gyda'r Cyfundeb. Gobeithiwn fod enwadau eraill yn fwy ymroddgar a llwyddiannus i gymeryd a dal meddiant o'r boblogaeth fawr yma na ni, onidê mae cyflwr cymdeithas yn y lleoedd uchod yn ofidus i feddwl am dano.

"Mae yr anhawsder iaith yn un o'r anhawsderau mwyaf a fedd y genedl Gymreig heddyw. Ac ni theimlwyd anhawsder cyffelyb, fel y bernir, gan unrhyw bobl mewn unrhyw gŵr o Brydain Fawr. Ac nid oes un arwydd amgen nad mwyhâu wna yr anhawsder hwn yn y dyfodol am flynyddoedd lawer. Oblegid nid yw yn debyg y paid y Saeson ddyfod i'n gwlad, nac y paid lliaws o'r plant ac eraill lithro yn ddiarwybod i gysylltiadau Saesonig, ac yn enwedig felly, pan y bydd holl ddeddfau presennol Addysg a'u trefniadau lliosog mewn llawn weithrediad yn ein mysg. Nis gall unrhyw enwad, nac unrhyw blaid wladgarol, fforddio tynu sylw oddiar yr anhawsder hwn am un awr. Mae yn ofynol meddu sylw craff ac adnabyddiaeth ëang o ystâd iaith a chymdeithas ymhob llanerch o Gymru, fel y mae heddyw, mewn cymhariaeth i'r hyn a fu flynyddoedd yn ol, er mwyn gallu ffurfio barn deg ar y mater hwn.

Yr hyn sydd yn cyfansoddi y gwir anhawsder ydyw fod yn rhaid cadw yr holl wasanaeth crefyddol i fyny yn llawn, am nad oes dim lleihâd canfyddadwy yn Nghymraeg y genedl hyd yn hyn, er fod eangder ei maes yn llawer cyfyngach nag y bu; eto, rhaid cael addoldai a gwasanaeth Saesoneg cyflawn yn yr un lleoedd, am fod yr iaith hono yn cynnyddu yn ganfyddadwy a chyflym ynddynt, a nifer yn myned dan ei dylanwad yn llwyr. Felly nid gwaith i'r ychydig bobl a ffurfiant y cynnulleidfaoedd bychain Saesoneg ydyw hwn, ond gorchestwaith i'r holl genedl ydyw. Anhawsder cenedlaethol ein hoes ni ydyw.

"Er a thrwy yr oll, mae y symudiad er sefydlu Achosion Saesonig yn un o'r rhai, os nad y mwyaf, llwyddiannus a fedd y Cyfundeb. Mae y cyflymdra gyda pha un yr ennilla y cynnulleidfaoedd hyn gynifer o aelodau, 1194; o wrandäwyr, 3805; ac o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol. 2693,—ac a ddeuant mor haelionus at eu hachosion eu hunain, ac at holl symudiadau eraill y Cyfundeb, yn beth na chafwyd mo hono yn ein hanes o'r blaen. Yn arafaidd iawn y daethom ni yn haelionus. Y mae gwneyd gwaith mor fawr, mor gyflym—mewn deuddeng mlynedd—ar draul mor fechan, yn fwy nag y gallesid ddysgwyl, ac yn achos o galondid dirfawr i'n holl gyfroddwyr ffyddlawn ac i'r Cyfundeb; ond rhaid eu cynnorthwyo am eu bod yn fychan o nifer a'u dyled yn fawr. Lleiheir 5 y cant ar rodd flynyddol pob lle, er mwyn, meddir, symbylu y lleoedd eu hunain i haelioni. Ofnir y gwneir hyn mewn rhai lleoedd cyn iddynt gael cychwyniad teg, ac y rhwystir eu llwyddiant a'u cynnydd drwy hyny. Colled i ni yn y diwedd fyddai hyny.

"Mae nifer o'n cynnulleidfaoedd wedi cyfranu yn ffyddlawn at hyn drwy y blynyddoedd. Ond fe ryfeddai y cynnulleidfaoedd eu hunain, a'u harweinwyr, pe cyfrifent pa nifer o honynt sydd wedi bod yn anffyddlawn."

Dangys yr Adroddiad fod 250 o Eglwysi yn Ngogledd Cymru heb gasglu dim at yr achos pwysig hwn. Hyderwn na cheir dyweyd hyn byth eto am danynt, ond y cyfodant oll yn egnïol i gynnorthwyo rhywfaint, pa mor lleied bynag, gyda'r gwaith.

"Tybid gan y Gymdeithasfa fod amryw o gyfeillion llwyddiannus yn y byd, yn gystal a lliaws o gynnulleidfaoedd, y rhai, trwy eu cysylltiadau teuluaidd a chymdeithasol, sydd yn deall ac yn teimlo yr anhawsder Saesoneg yn drwyadl, y gellid appelio atynt i gymeryd rhan drymach o'r baich hwn ar eu hysgwyddau drwy roddion blynyddol llawer helaethach, er mwyn codi y casgliad rai cadnoedd yn fwy yn flynyddol, *gan mai yn eu gofal hwy y rhoed yr aur a'r arian.* Mae gan y Gymdeithasfa heddyw yr hyfrydwch o gofnodi ddarfod i'w chais at amryw o'r siroedd, ac at y cyfeillion hyny, gyfarfod â'r cydymdeimlad a'r haelioni mwyaf dymunol, fel y mae nifer da o gyfroddwyr wedi rhestru eu hunain o newydd at y lliaws cyfroddwyr fu yn ffyddlawn drwy y blynyddoedd.

"Dyma y waith gyntaf i gais personol gael ei wneyd at ein cyfeillion Seisonig, amryw o ba rai na pherthynent i'r Cyfundeb, am gyfroddion. Ni chawsom un gommeddiad, ond derbyniasom y sirioldeb mwyaf, a rhai rhoddion tywysogaidd,—un boneddwr am £50 yn flynyddol. Cyfyng iawn fu cylch ein happêl atynt hyd yn hyn. Daeth tua £300 oddiwrthynt hwy a'r eglwysi Saesonig at y Gronfa y llynedd. Hawdd ydyw deall pwys a gwerth y symudiad hwn yn mawn y rhai sydd yn ei ddeall oreu wrth faint yr haelioni arbenig a ddangosant ato."

Dangys yr Adroddiad fod naw o Gyfarfodydd Misol, sef Arfon, Lleyn ac Eifionydd, Dyffryn Clwyd, Dyffryn Conwy, Trefaldwyn Uchaf, Trefaldwyn Isaf, Henaduriaeth Trefaldwyn, Gorllewin Meirionydd, a Fflint, wed cynnyddu yn eu casgliadau gyda'u gilydd £350, tra y mae pump, sef Môn, Lerpwl, Dwyrain Meirionydd, Henaduriaeth Lancashire, a Manchester, wedi lleihâu yn y cyfanswm £31. Da genym ddeall fod y tri aelod Seneddol Methodistaidd—Mri. Rich. Davies, David Davies, a John Roberts,—yn addaw parhâd o'u rhoddion haelionus o £50 bob un yn flynyddol, a bod boneddwr tra haelionus arall, R. S. Hudson, Ysw., Bache Hall, Annibynwr, wedi cyfranu eleni, ac yn addaw parhâd o'r un swm yn flynyddol. Heblaw hyn, cawn fod tri o gyfeillion eraill o'r newydd wedi rhoddi eu henwau i lawr am £10 yr un; deg am £5 yr un; un ar ddeg am £2 yr un; cant a thri am £1 yr un; cant a dau am 10s. yr un; ac felly ymlaen.

Cyrhaeddodd y casgliadau a'r cyfroddion am 1882 y swm o £1178 9s. 11c.; y taliadau i £1092 18s. 1c., gan adael yn llaw y Trysorydd ar ddiwedd y flwyddyn, £286 9s. 6c., yr hyn sydd £700 o bunnau yn fyr i gyfarfod â gofynion y flwyddyn sy'n rhedeg cyn y daw dim i law. Y mae gan hyny fawr angen am barhâd ac ychwanegiad haelioni drwy'r holl siroedd, nid yn unig er galluogi'r Cyfeisteddfod i barhâu i estyn cynnorthwy i'r lleoedd sydd eisoes yn derbyn o'r Gronfa, ond hefyd i gychwyn achosion o'r newydd mewn manau sydd mewn dirfawr anghen am danynt.

Ar hyn o bryd un ar hugain o eglwysi sydd yn fwyaf neillduol dan arolygiaeth Cyfeisteddfod y Gronfa. Oddigerth mewn dau neu dri o'r lleoedd hyn, gellir dyweyd fod agwedd ddymunol a llwyddiannus ar yr achos—mewn rhai lleoedd yn arbenig felly—a chyda'r eithriadau a nodwyd y mae'r eglwysi yn gweithio yn rhagorol. Er esiampl, casglwyd gan eglwys Saesonig Llandudno, yr hon a gynnwys 60 o aelodau, at ddyled y capel £231, sef yn agos i £4 ar gyfer pob aelod; at y weinidogaeth £211, sef dros £3 10s. ar gyfer pob un (yr *average* drwy'r holl Gyfundeb yw 11s. 6c.), ac at achosion eraill £61, sef dros £1 ar gyfer pob aelod. Gallem hefyd nodi yn arbenig, am eu haelioni a'u gweithgarwch, eglwysi Saesonig ieuainc Bangor, Dinbych, a Ffestiniog; ac y mae cyfraniadau y rhan fwyaf o'r eglwysi eraill dair gwaith neu bedair yn fwy na'r *average* drwy'r holl Gyfundeb. Cyfartaledd y casgliadau at bob achos drwy'r Cyfundeb yn 1882 oedd £1 8s. 4c. ar gyfer pob aelod; ond drwy'r eglwysi Saesoneg sy'n derbyn o'r Gronfa yr oedd o fewn ychydig bres yn *chwe phunt!* Y mae y ffaith eu bod fel hyn yn gweithio mor dda eu hunain yn rhoi hyfdra i ni i ofyn ar eu rhan am bob cymhorth,—moesol ac arianol—a all eu chwïorydd yr eglwysi Cymreig ei estyn iddynt. Da genym ddeall fod yr Achosion Saesonig i fod o hyn allan yn un o destynau ymdrafodaeth y Gymanfa Gyffredinol. Y mae hyn, a'r sylw cynnyddol a delir yn ein Cymdeithasfaoedd iddynt, yn dangos fod y Cyfundeb yn deffro yn raddol i amgyffrediad cywir o bwysigrwydd y symudiad hwn, a bod pob eiddigedd a gwrthwynebiad iddo yn diflanu.

Er mor wangalon ac eiddil, mewn cymhariaeth i'r hyn a ddylasent, yw ein hymdrech-

ion yn y cyfeiriad hwn wedi bod, y mae genym, meddir, 158 o eglwysi Saesoneg, sef y seithfed ran o holl eglwysi y Cyfundeb; a chynnwysant yn agos i wyth mil o gymunwyr. Cofier mai gwaith ychydig gyda deugain mlynedd yw hyn oll. Diau mai o'r Arglwydd y mae hyn, ac oni allwn ychwanegu, "a rhyfedd yw yn ein golwg ni?"

Dywed yr Adroddiad fod 25 o'r rhai hyn wedi eu sefydlu yn Ngogledd Cymru yn yr amser byr o ddeuddeng mlynedd, fel y crybwyllwyd, yn cynnwys 1194 o aelodau, mwy o bum' cant nag oedd bum' mlynedd yn ol, 3805 o wrandäwyr, a 2693 o aelodau yr Ysgol Sabbothol. Cofier hefyd "fod genym le i obeithio ein bod, drwy hyn, wedi ennill cannoedd atom nad oedd yn perthyn i ni o'r blaen, a chadw cannoedd lawer o'n pobl ein hunain rhag ymgolli oddiwrthym, a bod y llafur hwn wedi ei fendithio gan y Duw mawr er daioni ysbrydol a thragywyddol lliaws o eneidiau, a chodi nifer mawr o newydd yn weithwyr cryfion i Fab Duw yn y Cyfundeb. Y mae'r achosion hefyd yn tyfu fwyfwy ar ffurf ac yn ysbryd y Cyfundeb, ac ymhob peth yn hollol *loyal* iddo."

Ond y mae mawr eisieu egni adnewyddol gyda'r gwaith. Hawdd fyddai enwi ardaloedd yn Ngogledd Cymru lle y mae arafwch gormodol wedi achlysuro i Fethodistiaeth wywo a chwbl ddifianu o honynt, ac eraill lle y mae perygl i hyny gymeryd lle yn bur fuan. Gresyn fyddai i ni, fel Cyfundeb sydd hyd yma wedi bod dan fendith y Nef mor llwyddiannus yn Nghymru, golli ein gafael ar y wlad trwy ein difaterwch a'n hesgeulusdra. Pe buasai gofod yn caniatâu, buasai'n dda genym ail-gofio rhai o sylwadau tarawiadol Dr. Thomas ac eraill, yn y Gymdeithasfa, mewn perthynas i'r Adroddiad. "Y mae rhyw fywyd rhyfedd," meddai'r doctor parchedig, "yn yr iaith Gymraeg. Ni bydd farw yn rhwydd; ond nis gall orfyw yr ymosodiadau parhâus a wneir arni gan yr iaith Saesoneg. Y mae iachawdwriaeth eneidiau o fwy o bwys na'r iaith a siaradwn. Yr wyf yn ofni nad ydym eto fel Cyfundeb wedi deffro i deimlo pwysigrwydd yr achos hwn. Y mae Gogledd Cymru wedi bod braidd yn feddiant i ni fel Methodistiaid; ond y mae enwadau eraill sydd yn deall arwyddion yr amseroedd yn well na ni wedi cymeryd meddiant o rai trefi a ddylasent fod yn perthyn i ni. Y mae iaith gwlad yn newid mewn ychydig amser, ac y mae crefydd yn fynych yn colli yn newidiad yr iaith." Cyfeiriodd at amryw engreifftiau nodedig o hyn, ac ymhlith eraill, at y ffaith fod Whitefield yn bresennol ychydig dros gan' mlynedd yn ol mewn odfa yn Llanfairmuallt, pryd yr oedd Daniel Rowlands yn pregethu mor rymus ac effeithiol yn Gymraeg, nes peri iddo ef wylo am nas gallai yntau bregethu yn Gymraeg fel y gallai'r bobl ei ddeall; ond cyn pen triugain mlynedd wedi hyny yr oedd iaith yr ardal wedi newid fel mai Daniel Rowlands fuasai'n gorfod wylo am nad oedd y bobl yn deall Cymraeg. Fel y sylwyd, nid oes engraifft ar gael o genedl na gwlad yn gallu dal i siarad dwy iaith yn hir. Gobeithio fod digon o yni a nerth yn ein Cyfundeb i fyned drwy gyfnod y newidiad o'r Gymraeg i'r Saesoneg.

"Cadwed yr Arglwydd ein llygaid yn agored i weled ystâd bresennol a dyfodol poblogaeth Cymru mewn pryd, a rhodded galon i ni a faidd edrych yn wyneb yr anhawsderau, a darparu yn brydlawn er cadw crefydd ein gwlad yn bur mewn unrhyw iaith. Mae Cristionogaeth, ac felly hefyd Fethodistiaeth ni a gredwn, uwchlaw iaith heddyw, fel ar y Pentecost yn Jerusalem,—lle yr oedd Parthiaid, Mediaid, Elamitiaid, Cretiaid, ac Arabiaid, a gwŷr bucheddol o bob cenedl o dan y nef, yn clywed yn eu hiaith eu hunain fawrion weithredoedd Duw."

Dros y Cyfeisteddfod,

R. WILLIAMS.

*Y Drefnewydd.*

---

SYMUDIAD A SEFYDLIAD GWEINIDOG.

Y MAE y Parch. Charles Williams, ar ol bod yn gweinidogaethu yn nhrefn Crewe am bum' mlynedd a hanner, wedi symud i'r Adfa, Llanwyddelan, Trefaldwyn Isaf. Y mae Crewe, yn ei chynnulleidfa Gymreig, er yn Lloegr, yn perthyn i Gyfarfod Misol Sir Fflint; ac mewn cysylltiad â'r cyfarfod Misol hwnw y dechreuodd Mr. Williams bregethu, ac y cafodd ei ordeinio; ac yr oedd efe yn barchus ac anwyl gan y frawdoliaeth yno yn gyffredinol, a chan eglwys y Crewe yn neillduol; a drwg oedd gan y naill a'r llall am ei ymadawiad. Cynnaliwyd cyfarfod ymadawol yn y Crewe yn mis Mehefin, pan y llywyddwyd gan y diacon Mr. John Hughes, ac y cyflwynwyd gan y diacon Mr. Richard Thomas i Mr. Williams yn anrhegion bortreiad harddwych o hono, ynghyd a desc ysgrifenu. Ar yr achlysur traddododd Mr. Thomas araeth hyawdl a phriodol iawn, pan y rhoes hanes dyddorol am ddechreuad yr achos Cymreig yn y lle, a'i ddygiad ymlaen hyd yn hyn. Bu y Parch. E. J. Evans, yn awr o Harlech, yno yn weinidog am saith mlynedd a hanner, yn hynod gymeradwy, ac yn weithgar iawn gydag adeilad y capel, at draul pa un y bu Mr. Evans, trwy ganiatâd y Gymdeithasfa, yn casglu yn llwyddiannus yn Siroedd Gogledd Cymru. Ar ei ol ef, bu y Parch. J. H. Parry, yn awr o Groesoswallt, yn gwasanaethu achos Crewe am tua phum' mlynedd; a gwnaed tysteb iddo yntau ar ei ymadawiad. Dilynwyd Mr. Parry gan Mr. Williams; a thystiai Mr. Thomas fod y wêdd gysurus ar yr eglwys, yr undeb a'r brawdgarwch a'r cydweithrediad ynddi, i'w briodoli i fesur mawr i weinidogaeth adeiladol a hunanymwadol Mr. Williams, ei ofal cyson am lesiant ysbrydol yr holl gynnulleidfa, ac yn enwedig y bobl ieuainc, ei gymeriad difrycheulyd, a'i awyddfryd am fod yn ddefnyddiol gyda gwaith ei Arglwydd. Ymatebodd Mr. Williams mewn modd teimladol, gan amlygu yr ysbryd mwyaf serchog tuag at yr eglwys yn ei swyddogion a'i haelodau oll. Dywedai nas gallai byth anghofio y Dosbarth Biblaidd, na'r plant, y rhai oedd yn anrhydedd i'r eglwys,

c i flaenor y gân. Anerchwyd y cyfarfod hefyd gan y Parch. R. Hughes, Hanley; Mr. Evans; Mr. James Hughes; Mr. Bradshaw, *Primitive Methodist*, a'r Parch. R. W. Roberts, gweinidog y Presbyteriaid Seisonig, y rhai a roddasant dystiolaeth uchelaf i werth defnyddioldeb Mr. Williams. Ac yn ystod y cyfarfod, cafwyd caniadau cymhwys ac anthemau gan y côr a chan bersonau unigol.

Ar y 26 a'r 27ain o Orphenaf, cynnaliwyd cyfarfod derbyniad a sefydliad Mr. Williams yn yr Adfa, Llanwyddelan. Yr oedd Cyfarfod Misol Sir Fflint wedi penodi y Parch. R. Edwards, yr Wyddgrug, a Mr. R. Thomas, Crewe, i gyflwyno Mr. Williams i'w le newydd, a Chyfarfod Misol Trefaldwyn Isaf wedi penodi y Parchn. O. Hughes, Tregynon, a J. Gray Jones, Llanfair, ar ei ran, i dderbyn Mr. Williams. Ond o herwydd afiechyd perthynas agos iddo, rhwystrwyd Mr. Hughes i fod yn bresennol. Nos Iau y 26ain, dechreuwyd yr odfa gan y Parch. J. G. Jones, a phregethodd y Parchn. Joseph Thomas, Carno, a Roger Edwards. Dydd Gwener, am 10, dechreuodd y Parch. Christmas Lewis, a phregethodd y Parchn. R. Edwards a J. Thomas; ac am 6 yn yr hwyr, dechreuwyd gan y Parch. Charles Williams, a phregethwyd gan y Parchn. J. Thomas a R. Edwards.

Am 2 o'r gloch ddydd Gwener cynnaliwyd cynnulliad penodol y cyfarfod sefydlu. Llywyddwyd yn y modd mwyaf medrus gan y Parch. J. Gray Jones. Yr oedd yr alwad ar Mr. Williams wedi dyfod o'r Adfa, Gerazim, a Charmel, ac felly i fugeilio y tair eglwys; ac nid annhebyg na bydd Horeb yn ymgynnyg atynt eto. Hysbyswyd gan Mr. Humphreys a Mr. Ashley am yr alwad o eglwys Adfa—gan Mr. Lewis, Argoed, am yr alwad o eglwys Gerazim—a chan Mr. Williams am yr alwad o eglwys Carmel. Yna y cyflwyniad dros Gyfarfod Misol Sir Fflint a wnaed gan y Parch. R Edwards, a Mr. R. Thomas. Mynegai Mr. Thomas am fawr wasanaethgarwch Mr. C. Williams i Fethodistiaeth Gymreig a Chymry Crewe, a'i gymeradwyaeth yno; a gwnaeth amryw sylwadau cymhwys i'r achlysur. Yr oedd y rhagoroldeb mater, a'r rhwyddineb ymadrodd, oedd yn nodweddu ei araeth, yn peri i'w wrandäwyr synu pa fodd yr oedd efe wedi ymgadw yn y sêdd fawr fel blaenor yn lle ymgyfodi i'r pulpud. Cafwyd ychydig eiriau, yn llawn teimlad da a dwys, gan Mr. Williams, y gweinidog; ac anerchwyd y cyfarfod mewn ffordd o gynghorion i'r gweinidog ac i'r bobl gan y Parchn. Joseph Thomas a R. Edwards.

Er ei bod yn brysurdeb cynauaf yn y gymydogaeth y dyddiau hyny, yr oedd tyrfa dda wedi dyfod ynghyd, ac yn gwrandaw yn astud.

---

## MARWOLAETH Y PARCH. DAVID EVANS, GLAN'RAFON, DWYRAIN MEIRIONYDD.

Tua un ar ddeg o'r gloch nos Fawrth, yr 22ain o fis Mai diweddaf, bu farw y brawd anwyl a'r gweinidog ffyddlawn, David Edwards, ar ol dyoddef hir gystudd a nychdod. Gwanaidd iawn oedd ei iechyd er ys blynyddoedd; ond trwy wyliadwriaeth a gofal manwl, parhaodd i allu myned i'w deithiau i bregethu hyd y Sabboth olaf o Ebrill, 1882, pryd y bu raid iddo er pob ymdrech roddi i fyny yn hollol dros amryw fisoedd. Ond tua'r mis Awst canlynol adferwyd ei iechyd i ryw raddau, ac o herwydd ei fod mor awyddus i bregethu, ymdrechodd uwch ben ei allu yn ddiddadl i gyflawni ei ymrwymiadau dros chwe' Sabboth, pan y gostyngwyd ei nerth yn hollol er pob dyfais ac ymdrech o'i eiddo ei hun a'i feddygon. O hyny allan cyfyngwyd arno yn llwyr i'w dŷ hyd amser ei ymddattodiad, yn y drydedd flwyddyn a thriugain o'i oedran.

Dydd Sadwrn canlynol i'w farwolaeth ymgasglodd tyrfa lïosog i dalu eu teyrnged olaf o barch iddo. Wrth y tŷ, cyn cychwyn i'r gladdfa, darllenodd a gweddïodd y Parch. Edward Williams, Cae mawr, Cynwyd; ac yna aed yn orymdaith drefnus i fynwent capel Glan'rafon. Wrth y bedd gweinyddwyd gan y Parch. E. Peters, Bala, ac E. Jones, Rhydlydan; yna aed i'r capel, pryd y dechreuwyd y gwasanaeth gan y Parch. J. Pritchard (A), Druid; ac ar ol ychydig eiriau gan yr ysgrifenydd, cafwyd sylwadau priodol a gwerthfawr gan y Parchn. D. Hughes, Corwen; Griffith Owen, Wrexham; D. Jones, Gwyddelwern; W. Griffiths, Llansantffraid; H. C. Williams (B), Corwen; H. Ellis (A), Llangwm; a Mr. J. Jones, Penyfed Dimol; a therfynwyd trwy weddi gan Mr. Ellis, Llangwm.

Er nad oedd David Edwards yn frodor o'r ardal hon, eto yma y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes. Yma hefyd y daethai at grefydd yn y flwyddyn 1840, pan yr oedd tuag un ar hugain oed. Wedi bod yn aros yn nghymmydogaeth Llawr Bettws am bum' mlynedd, yn grefyddwr ymroddgar a zelog, yn nechreu haf y flwyddyn 1846 aeth i'r ysgol i'r Bala, at y diweddar Barch. John Williams, yn ddiweddar o Landrillo; ac yn y flwyddyn ganlynol aeth i'r Parc i gadw ysgol, ac yno y dechreuodd bregethu, ac yr oedd yn hynod gymeradwy yn ystod ei arosiad yno. Yno y pregethodd ei bregeth gyntaf, ac yno hefyd y pregethodd ei bregeth olaf. Wedi aros yn y Parc am ddwy flynedd, aeth i'r Athrofa i'r Bala, lle y bu am tua thair blynedd, mor bell ag y gellir cofio; ac yna dychwelodd yn ol i Glan'rafon i gadw ysgol ddyddiol, yr hyn beth a wnaeth am amryw flynyddoedd, gan bregethu ar y Sabbothau. Ond oblegid yr anhawsderau i gyflawni y ddau wasanaeth yn briodol, yn enwedig gydag iechyd mor wanaidd, penderfynodd o'r diwedd roddi yr ysgol i fyny, ac ymroddi yn hollol i'r weinidogaeth. Mae yn debyg fod pawb oedd yn gydnabyddus âg ef yn gwybod mai dibriod y treuliodd y rhan fwyaf o'i oes, gan lettya gyda gweddw garedig o'r enw Mrs. Margaret Jones, yr hon fu ofalus iawn am dano dros lawer o flynyddoedd. Ond tua diwedd 1879, priododd gyda Mrs. Roberts, gweddw y diweddar John Roberts, Ysw., o Lundain, a chafodd ynddi rôdd gan yr Arglwydd, ac ymgeledd gymhwys iawn iddo ei hun yn ei lesg

oddi a'i wen lid. Taled yr Arglwydd yn ddauddyblyg iddi am ei gofal, ei thynerwch, a'i ffyddlondeb iddo yn ei adegau mwyaf cyfyng a gwasgedig.

Nid oes ammheuaeth na bu arosiad y Parch. David Edwards yn ein plith yn fendith i'r gymydogaeth hon; oblegid bu yn ymdrechgar ac yn ddyfal iawn gyda'r bobl ieuainc mewn cyfarfodydd darllen a chyfarfodydd llenyddol, at gynnal pa rai yr oedd yn meddu cymhwysderau arbenig. Yr oedd hefyd yn feddiannol ar y dalent farddonol i raddau helaeth, ac ystyrid ef yn awdurdod ar y rheolau barddonol yn yr ardaloedd hyn yn gyffredin, fel nad oedd braidd gyfarfod cystadleuol yn cael ei gynnal yn y cylchoedd yma na byddai rhyw gymaint, os nad yr oll, o feirniadaeth y farddoniaeth yn cael ei hymddiried iddo ef. Cyhoeddodd amryw ddarnau o'i waith ei hun, ac fe dybir fod cryn swm o lawysgrifau eto yn aros heb eu cyhoeddi. Gobeithir y gofala ei ymddiriedolwyr am gasglu y briwfwyd gweddill fel na choller dim. Yr oedd ei wasanaeth yn werthfawr iawn hefyd yn y cyfarfodydd eglwysig yma, ac yn y Dimel, gan yr arferai fyned yno i'r *society* bob wythnos er ys rhai blynyddoedd. Byth er pan ymunodd â chrefydd yr oedd ei holl fywyd yn gysegredig i'r Arglwydd; a gellir dyweyd am dano ei fod yn "berarogl i Grist." Ar ol treulio 35 o flynyddoedd ar faes y weinidogaeth, ac wedi ei ordeinio er y flwyddyn 1865, ni chafodd yr efengyl y gwaradwydd lleiaf oddiwrtho. Ei fywyd a'i farwolaeth wedi eu symio mewn ychydig eiriau ydynt, "Byw i Grist a marw yn elw." Do, fe ymdrechodd ymdrech deg. Byddai yn wastad mewn rhyfel â gelynion crefydd; nid oedd yn bosibl ei gymmodi â phechod. Yr oedd ei ymarweddiad mewn gwirionedd yn halen y ddaear ac yn oleuni y byd. Golygfa ryfedd fuasai lloned byd o ddynion mor sanctaidd, mor bur a difrycheulyd â'r Parch. David Edwards. A gwelsom ef ein hunain yn myned trwy lyn cysgod angeu heb ofni niwed.

RICHARD WILLIAMS.

*Llwynithel.*

---

MARWOLAETH Y PARCH. JOHN JONES, PENYCAE, GERLLAW RHOSLLANERCHRUGOG.

GORPHENAF 27, bu farw y brawd hwn ar ol tri mis ar ddeg o gystudd, yr hwn a ddyoddefodd yn dawel a siriol a gweddigar. Cafodd y naill darawiad ar ol y llall yn ystod ei gystudd, nes yr oedd ar hyd y misoedd yn gwbl ddiallu. Ganwyd Mr. Jones yn Llansanan yn y flwyddyn 1819. Treuliodd fore ei oes fel un o gywion yr estrys, heb neb yn golalu am ei addysgiaeth, nac yn ymofyn am ei enaid. Ond cyn i dymmor ei ieuenctyd fyned heibio, tynodd yr Arglwydd ef â thrugaredd, ac yntau heb ymgyndynu nac oedi a roddodd ei hun i'r Arglwydd. Ymroddodd i ddysgu darllen, ysgrifenu, a rhifo, a gofalodd am fyned i wasanaethu mewn teuluoedd crefyddol yn Helygain, ac yn Newmarket, lle y dechreuodd bregethu; ac yr oedd yn gymeradwy ymhob man. Symudodd i wasanaethu yn masnachdy haiarn Acrfair; a phregethai yn gyson ar y Sabbothau yn Sir Fflint a chyrau Siroedd Dinbych, Meirionydd, a Threfaldwyn; ac yr oedd ei wasanaeth yn werthfawr yn ystod yr wythnos yn yr eglwysi nesaf ato. Er ys oddeutu ugain mlynedd yn ol, symudodd i Benycae i drin tyddyn, ac i gadw siop; a bu yn ddiwyd gyda phethau y ddau fyd, ac yn llwyddiannus hefyd, fel yr esgynodd i safle o ymddiried a pharch cyffredinol. Nid oedd ammheuaeth am ei dduwioldeb a'i barodrwydd i bob gweithred dda. Yr oedd efe a'i deulu yn lletygar iawn. Teimlir colled fawr ar ei ol yn yr eglwysi cylchynol, yn gystal ag yn eglwys y Groes, am eu bod yn galw yn fynych am dano yn Sabbothol ac wythnosol; ac yr oedd yntau yn wastad yn barod i wneyd yr hyn a allai. Wrth feddwl am anfanteision bore ei oes, y mae yn rhyfedd genym ei fod wedi dyfod mor ddefnyddiol.

Gorphenaf 30, daeth lliaws ynghyd, *oddeutu* ugain o bregethwyr, a llawer o flaenoriaid. Wrth y tŷ gwasanaethodd yr ysgrifenydd, ac yn y capel, y Parch. R. Jones, Tryddyn; W. Foulkes, Rhos; H. Hughes, Adwy; C. R. Jones (B), Cefn a Phenycae; R. Winter, Llangollen; a Mri. Elias Williams, Caerlleon; a W. Jones, Wrexham. Wrth y bedd gwasanaethodd y Parchn. H. B. Williams a G. Owen. Llywyddid gan y Parch. W. Pierce. Yn yr hwyr pregethwyd yn y capel gan y Parchn. Peter Ellis, a J. Jones, Rhos. Gadawodd yr ymadawedig weddw a thri o blant i alaru ar ei ol.

Mae holl hanes oes ein brawd yn dangos rhyfedd ras Duw ar y naill law, ac ar y llaw arall mor uchel y gall un esgyn trwy lafur a diwydrwydd. Tad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon, a ofalo am y teulu galarus.

J. JONES.

*Ruabon.*

---

# Amrywiaethau.

YMWELIADAU GWEINIDOGAETHOL A CHLEIFION.

ACHWYNID weithiau ar Mr. Pryse o herwydd anfynychder ei ymweliadau â'r cleifion a'r trallodedig. Nid oedd ei ymweliadau yn aml, mae yn rhaid cyfaddef. Nid oerfelgarwch at y praidd oedd y rheswm. Carai ei eglwysi fel ei enaid ei hun. Anwybodaeth o afiechyd a thrallod personau oedd un rheswm,—a hwythau yn dysgwyl iddo ef wybod heb iddynt hwy wneyd yn ol cyfarwydd yd yr apostol Iago: "A oes neb yn eich plith yn glaf? GALWED ATO henuriaid yr eglwys, a gweddiant hwy drosto." Nid ellid dysgwyl i un fel Mr. Pryse fod â'i ymweliadau mor aml â brodyr ydynt yn troi mewn cylch llawer llai. Po fwyaf y byddo'r cylch, anhawddaf yw boddloni mewn ymweliadau. Y mae amser gweinidog yn rhy werthfawr i fyned o dŷ i dŷ i frygawthan, chwerthin,

adrodd a gwrando gwrachïaidd chwedlau. Dysgwylir i'r gweinidog ddyfod i edrych am bersonau heb fod mewn un math o berygl yn y byd, nac un argoel y byddant yn glaf ymhen tridiau ar ol hyny. Gwrthun i'r eithaf! Nid oedd Pryse yn euog o hyn. Pan y byddai efe yn talu ymweliad, yr oedd yn dyferu olew i'r clwyfau, yn rhwymo y doluriau, ac yn gadael y dylanwad goreu ar ol. Aroglai ei ymddygiadau yn beraidd ymhob annedd.—*Cofiant y Parch. Rees Pryse, Cwmllynfell, gan y Parch. W. Thomas, Whitland.*

### GWNEUTHUR I GRIST.

UNWAITH ar swper mewn ysgoldŷ elusenol yn Germany, ar ol gofyn y fendith arferol, "Tyred, Arglwydd Iesu, bydd yma gyda ni, a bendithia y bwyd a ddarperaist," gofynai un o'r bechgyn bychain i'r athraw, "Paham nad yw yr Arglwydd Iesu yn dyfod atom, a ninnau yn gofyn iddo ddyfod?" "O fy machgen," ebe yr athraw, "crêd ei fod Ef yn dyfod pan na byddwn ni yn gallu ei weled; ac hwyrach y gallwn ni ei weled ef weithiau." "Wel ynte," medd y bachgen, "hwyrach y cawn ni ei weled ef heno, ac mi osodaf fi gadair yn barod iddo;" ac felly efe a ddododd un wrth y bwrdd. Ymhen ychydig clywyd cnoc ar y drws. Yr oedd yno fachgen tlawd ar ei daith, yn gofyn am ymborth a llettŷ noson, ac efe a gymerwyd i mewn. Yna ebe'r bachgen bach crybwylledig, "Ho, mi a welaf sut y mae. Nid allasai yr Arglwydd Iesu ddyfod yma ei hunan heno, ac am hyny efe a anfonodd y bachgen dyeithr yma yn ei le. Onid felly y mae, 'meistr?" "Ië, fy mhlentyn anwyl," ebe yr athraw. "Mae pob cwpanaid o ddwfr a thamaid o fara a roddwn i'r tlawd a'r newynog er mwyn Iesu, yn cael eu rhoddi iddo ef. Yn gymaint ag i ni wneyd hyn i'n brodyr lleiaf, yr ydym yn ei wneyd i'n Gwaredwr mawr."

### SEFYLL I GANU.

ER cân lleied o amser yr odfa a dreulir i ganu mawl, ofnwn na wneir y defnydd goreu o'r amser byr hwnw. Cenir y llinell gyntaf cyn i lawer yn y gynnulleidfa godi ar eu traed a gosod eu hunain mewn ystum priodol i ganu; a chyn diwedd yr emyn syrthiant ar eu sêdd, fel pe am eu bywyd rhag ofn i neb eistedd yn gynt na hwy. Pa bryd y dylai y cantorion a'r gynnulleidfa godi ar eu traed i ganu? Mewn rhai manau cyfyd pawb cyn i'r pregethwr ledio'r pennill. Yr arferiad mewn lleoedd eraill ydyw i'r cantorion sefyll tra bydd y pregethwr yn rhoddi pennill allan. Ac mewn llawer man erys pawb ar eu heistedd hyd amser dechre canu, ac yna gwelir y gynnulleidfa yn codi o un i un, a bydd yr olaf ar ei draed pan fydd eraill yn gorphen canu y llinell gyntaf yn yr emyn. Gwell genym y cynllun cyntaf a nodwyd; oblegid y mae yn sicrhâu y bydd pawb yn barod i gyd-ddechre canu. Ond os na fabwysiedir y dull yna, beth sydd ar y ffordd i'r holl gynnulleidfa godi ar eu traed yn fywiog, fel pobl barod i waith, y foment y bydd y pregethwr wedi darllen y pennill cyntaf, neu ran o hono? Mae dull dioglyd rhai o'n cynnulleidfaoedd wrth godi ar eu traed yn annheilwng o wasanaeth crefyddol. Diffyg ystyriaeth ydyw yr oll; a phe ceid gair gan y pregethwr unwaith neu ddwy, diammheu y sicrheid y cyfnewidiad anghenrheidiol. Beth bynag, ni ddylai y cantorion ddechre canu hyd nes y bydd pawb wedi codi ar eu traed.—*Yr Eurgrawn Wesleyaidd (Awst,* 1883).

### Y GYFRINACH AM LWYDDIANT.

GOFYNODD cyfaill i Mr. Tegg, y llyfr-gyhoeddwr enwog, i ba beth yn benaf yr oedd efe yn priodoli ei yrfa lwyddiannus mewn bywyd, ac efe a atebodd, "I dri pheth: gofal am wneuthur pob peth yn ei amser; gwneyd fy hun yr oll a allwn i, heb ymgynghori âg eraill i bwyso arnynt; a chywirdeb mewn gair a gweithred. Yn chwanegol, pa fodd bynag, at y pethau hyn, derbyniais lawer o les a chysur mewn bywyd oddiwrth fod yn fyddar, yn gystal ag yn ddall, i bob enllibiau ac ymosodiadau. Ni ddarfu i mi drafferthu erioed o herwydd yr hyn a ddywedodd neb oddiar falais, neu fe allai oddiar ffolineb, am danaf, na bod yn barod i dalu yn ol unrhyw sarhâd, pa un bynag ai gwirioneddol ai dychymygol." Da fyddai i lawer un yn Nghymru efelychu Mr. Tegg yn y byddardod a'r dallineb a noda efe; canys yn y cyfnod presennol ceir yn barhâus newyddiaduron Cymreig yn cyhoeddi llythyrau dienw yn difrïo cymeriadau cyhoeddus; a doethineb fydd i'n cyfeillion fyned ymlaen yn dawel ar eu hynt, heb gymeryd sylw o'r cŵn bach sydd o'u tyllau yn cyfarth arnynt.

### DYFALIADAU PROPHWYDOL.

YN y *Gentleman's Magazine* am 1759 ceir llythyrau tra hynod ynghylch adferiad yr Iuddewon, a dygwyddiadau dyfodol eraill. Mae un gohebydd yn chwanegu at "y deuddeg cant a thri ugain o ddyddiau," sef 1260 o flynyddoedd, y rhif 636, sef y flwyddyn y cymerwyd Jerusalem, y ddinas sanctaidd, gan y Tyrciaid, yr hyn a wna 1896, sef amseriad y flwyddyn, medd efe, pan yr adsefydlir yr Iuddewon yn eu gwlad eu hunain. Yr un ysgrifenydd a rydd y flwyddyn 1926, neu 1260 at 666, fel y pryd y llwyr ddymchwelir Rhufain Babaidd. Cofir fod traethawd arbenig Dr. Fleming, gweinidog Ysgotig yn Llundain yn amser William y Trydydd, yn rhoddi y flwyddyn 1848 fel amser nodedig dechreuad cwymp y Babaeth; ac yr oedd 1848 yn flwyddyn chwyldroadol iawn, amser o "ysgwyd y nefoedd a'r ddaear;" ond dywedai efe am hir dymmor o gyffroadau a chyfnewidiau. Nid mewn un dydd yr adeiladwyd Rhufain, ebe efe; ac nid mewn un dydd ei cwympir, ond trwy wanhâd a darfodedigaeth graddol.

### TORI Y GORCHYMYNION.

PAN yr oedd y diweddar Barch. Dr. Lockhart o Glasgow yn teithio yn Lloegr, ac yn aros mewn gwestdŷ ar ddydd Sabboth, efe a ganfu yno ddau foneddwr yn parotoi i chwareu cardiau. Ac efe a ofynodd iddynt, "Foneddigion, a ydych chwi yn gofalu am gloi eich *portmanteaus!*" "Nac ydym," ebe un; "pa beth! a oes lladron yn y tŷ?" "Nid wyf fi yn dyweyd hyny," medd Dr. Lockhart; "yn unig yr oeddwn yn meddwl os daw y gweithiwr i mewn i'r ystafell hon, a'ch gweled chwi yn tori y pedwerydd gorchymyn, 'Cofia y dydd Sabboth i'w sancteiddio ef,' y gallai yntau feddwl am dori yr wythfed gorchymyn, 'Na ladrata.'" "Wel, yn wir," meddynt hwythau, "y mae rhywbeth yn hyny;" a rhoisant i fyny y chwareu cardiau y diwrnod hwnw.

### MARAH AC ELIM.

MARAH ac ELIM! mor agos y maent at eu gilydd! Fel hyn y mae chwerwder a melusder bywyd, cystudd a chysur amserol yn agos y naill at y llall. Ceir hwy bob un yn yr anialwch, ac yn fynych yn dilyn eu gilydd mewn un dydd, os nid mewn un awr. Y chwerw, hefyd, sydd yn gyntaf, ac wedi hyny y melus. Nid Elim yn gyntaf ac yna Marah, ond Marah yn gyntaf ac yna Elim; yn gyntaf y cwmwl ac yna yr heulwen—yn gyntaf y blinder ac yna yr orphwysfa. Yn gofarwydd o hyn, ni a dorasom ymaith gangen fechan o balmwydd yn Elim, ac a'i rhwymasom wrth gyffelyb gangen a ddygasom o Marah, i'w cadw ynghyd yn goffadwriaeth barhâus, nid yn unig o'r lleoedd, ond o'r gwirionedd a ddysgir mor fywiog ganddynt.—*Dr. Bonar's "Desert of Sinai."*

### DAROGAN Y TYWYDD.

PAN y dymunech wybod pa fath hin a fydd, ewch allan, a sylwch ar y cwmwl lleiaf y gellwch ei weled, cedwch eich golwg arno, ac os lleihâ ac os â o'r golwg, bydd hyny yn brawf mai tywydd teg a gewch. Ond os bydd y cwmwl hwnw yn myned

yn fwy o faint, cymerwch eich côb fawr neu eich gwlawlèn gyda chwi os ydych yn myned allan o'r tŷ, o herwydd nid yw gwlaw ymhell. Y rheswm yw hyn: pan fyddo yr awyr yn llawn o drydaniaeth, cewch weled pob cwmwl yn sugndynu y cymylau llai ato nes ymgrynhoi i ymdywallt yn gawod; ac, i'r gwrthwyneb, pan fyddo'r hylif yn myned ymaith neu yn ymchwalu, bydd hyd yn nôd gwmwl o faint yn ymgolli mewn tegwch.

### GEIRIAU DOETHINEB GAN NEGRO.

GELLWCH weithiau weled y cwmwl duaf yn myned ac yn myned heb fwrw dim gwlaw.—Y plentyn claf yw yr hwn sydd yn cael y lle goreu yn nghalon ei fam.—Iechyd da a chydwybod dda yw dwy goes gref bywyd.—Mynwch fod yn sicr o'ch cryfder cyn dechre nofio ar draws yr afon ddofn, o herwydd lle drwg yw'r canol i chwi feddwl am orphwyso.—Y ffordd hawsaf i ddyweyd celwydd yw cadw yn ddystaw pryd y gallech wneyd lles wrth ddyweyd y gwir.—Diwrnod da o waith sydd well na gwely plu tuag at allu cysgu yn iawn.—Ni a gofiwn un drwg a wnaed i ni o flaen cant o bethau da a gawsom.—Deallwch fod y byd yn ddigon mawr i chwi wneyd cymaint a fedrwch, heb fod yn rhaid i chwi geisio gwthio eich cymydog allan o hono.

### ADDA DDU.

ADRODDIR gan genadwr a fu yn Affrica, iddo unwaith glywed ei was negröaidd yn ceisio esbonio i'w gymdeithion o'r un lliw, oedd yn sefyll gydag ef yn agos i'r ystabl, beth oedd gwir darddiad y bobl wynion. "Yr oeddynt i gyd," ebe efe—"Adda, Efa, Cain, ac Abel, o liw du hawddgar iawn hyd nes y darfu i Cain ladd Abel, druan. A phan y galwodd yr Arglwydd ar Cain, ac y dywedodd, 'Mae Abel dy frawd?' efe a ddychrynodd gymaint nes yn y fan y trödd efe o liw du i liw gwỳn; a dyna ddechreuad y bobl wynion!" Yn ol yr athrawiaeth negröaidd hon, rhaid fod Adda, ein tad ni oll, yn negro neu *nigger*, fel y dywedir, ac mai hiliogaeth Seth, ac nid yr eiddo Cain, yw pobl dduon.

### Y WEDDI AM IAWN DYMHER.

BACHGEN bychan, wedi arddangos tymher wyllt ddigofus, a geryddwyd gan ei fam; ac wedi gweini'r cerydd, hi a'i hanfonodd i ystafell i weddïo am faddeuant gan ei Dad Nefol. Y fam, yn awyddus i glywed pa beth a ddywedai efe yn ei weddi, a'i dilynodd at ddrws ei ystafell. Yno hi a'i clywai yn gofyn mewn dull drylliog am i'r Brenin Mawr beri iddo ddyfod yn well, a'i rwystro rhag digio byth eto, ac yna, yn ei ddiniweidrwydd plentynaidd, yn chwanegu, "O Arglwydd, pâr di fod *temper* fy mam yn well hefyd."

### GAIR I RIENI.

MAE yn anhawdd dyweyd pa un yw y diffyg mwyaf mewn tad neu fam: ai manylrwydd a diysgogrwydd heb deimlad a serchogrwydd, ai ynte teimlad a serchogrwydd heb fanylrwydd a diysgogrwydd. O dan y naill, mae'r plant yn dueddol i fod mewn ysbryd caethiwed neu ragrith; ac o dan y llall, ânt yn orthrymwyr neu wrthryfelwyr. Ond y mae gwir gariad yn wastad yn gadarn, a gwir gadernid yn wastad yn garuaidd.

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## Bryniau Khasia a Jaintia.

### DOSBARTH SHANGPOONG.

MAI 21ain ysgrifenai y Parch R. Evans:—"Yr oedd yn llawenydd mawr i ni ddeall fod y casgliadau at y Genadaeth yn llawer mwy nag arfer, a bod rhyw obaith y gall y cyfarwyddwyr weled eu ffordd i anfon cenadwr arall allan cyn hir. Mae yn debyg fod hyny yn golygu fod y derbyniadau yn ddigon i anfon cenadwr, heb i hyny mewn un modd beri lleihâd yn nifer yr ysgolion presennol, na rhwystro iddynt gael eu llïosogi. Mae yma ddigon o waith i genadwr yn y maes sydd eisoes yn ein meddiant, a digon o le o'n hamgylch i eangu ein terfynau.

"Yr wyf wedi rhoddi geneth i addysgu y genethod yn mhentref Shangpoong; ac y mae cryn nifer yn myned yno ati. Mae y genethod yn llawer mwy diofn i gymysgu â ni er pan y mae yno athrawes. Yr ydym yn ceisio gwneyd ein goreu rywfodd yn yr ysgol yma, er mwyn ceisio dofi ychydig ar enethod y pentref. Mae amryw o bersonau wedi dechreu cadw y Sabboth er pan ysgrifenais o'r blaen; a rhai eraill yn son am symud i'n plith o'r pentref."

Ysgrifenai Mr. Evans drachefn Mehefin 4ydd:—"Yr wyf fi yn awr mewn cyfyng-gynghor ynghylch pa beth i wneyd am athrawon. Mae athraw Iangkiat (U Khro) yma yn awr ac yn rhydiau yr afon. Nid yw yn bosibl iddo allu byw hyd y bore. Nid yw yn ysgolaig da, ond y mae pob argoelion ei fod yn ddyn duwiol, ac yn myned i wlad well i fyw. Gofynais iddo heddyw pa fodd yr oedd yn teimlo gyda golwg ar wynebu tragywyddoldeb. 'Mae arnaf eisieu byw garw,' meddai, 'er mwyn fy mhlant bach a'm gwraig.' Gofynais drachefn pa un ai i'r nefoedd ynte i'r lle arall yr oedd yn meddwl myned; a dywedai, 'Yr wyf yn sicr nad af i'r lle hwnw, am nad wyf o'r un feddwl a'r rhai sydd yno.' 'Nid oes iachawdwriaeth yn neb arall,' meddai, 'ac nid oes enw arall dan y nef wedi ei roddi ymhith dynion, drwy yr hwn y mae yn rhaid i ni fod yn gadwedig; ac yr wyf innau yn ymddiried ynddo.'

"Daeth gwraig o Kyrwen, pentref y naill du i Iankiat, yma heddyw i brynu llyfrau i'w phlant, yr hyn sydd yn dangos fod yr efengyl yn graddol ddylanwadu ar y bobl. Mae tua 24 o blant — rhwng bechgyn bychain a genethod—yn myned bob dydd at yr athrawes sydd yn dysgu yn mhentref Shangpoong. Mae amryw eisoes yn gwybod y llythyrenau. Mae Cristionogion Sohpai yn dal yn gadarn; ac y mae nifer o rai eraill wedi dysgu y wyddor, a sillebu."

## DOSBARTH KHADSHAWPRAH.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. G. HUGHES, DYDDIEDIG MAIRANG, MEH. 26, 1883.

CHWI welwch ein bod wedi dyfod yma am ychydig amser. Y mae y tywydd wedi bod mor boeth yr wythnosau o'r blaen, a Nongrymai yn gymaint yn is na'r lle hwn, fel yr oedd y plant oll wedi myned yn bur wael, a daethom yma er cyfnewidiad, ac y mae dda genyf allu dyweyd fod y plant yn gwella yn raddol. Y mae yr achos yma yn gwisgo gwedd lled siriol, ac yn graddol gynnyddu. Y mae y gynnulleidfa o 30 i 40 bob Sabboth. Nid yw yr ysgolion dyddiol mor llewyrchus ag y buont. Dysgwylir y bydd y gynnulleidfa yn fwy ei nifer ac yn fwy sefydlog wedi gorphen y capel newydd. Y mae wedi ei doi yn awr, ond yn ystod y gwlaw a'r gwynt yn mis Ebrill fe holltodd y talcen cefn, a bu raid ei dynu i lawr a'i adeiladu o newydd, yr hyn oedd yn gryn golled. Gellir cyfarfod ynddo yn fuan wedi gorphen ei lorio a rhoddi ffenestri ynddo.

Fel yr ydych yn deall, bu Mr. Jerman Jones a minnau yn Cherra, er iddo ef a Mr. Roberts a minnau edrych dros Lefiticus a Deuteronomium cyn eu hanfon i'r wasg. Bûm wrthi yn ddyfal ac yn hwyr am un diwrnod ar ddeg. Yn awr y mae Pum' Llyfr Moses yn barod, ac yr wyf yn gobeithio y bydd allan o'r wasg cyn hir, ac y ca y Khasiaid y fraint o gael y rhan gyntaf o'r Hen Destament yn argraffedig yn eu hiaith cyn pen nemawr o amser. Rhaid gadael y llyfrau eraill o'r Hen Destament sydd wedi eu cyfieithu hyd ar ol adolygu y Testament Newydd. Y mae anghen mawr am y Testament Newydd mewn llythyren fanach, a phlŷg llai; ond annoeth fyddai gwneyd hyny hyd oni adolygir yr un presennol. Yr ydym yn brysur gyda hyn yn awr, a dysgwylir gorphen erbyn tua diwedd y flwyddyn. Yr oedd yn dda genyf weled yr achos yn Nongsawlia mor gysurus, cynnulleidfa loned capel ac eglwys lïosog, a phob peth yn ymddangos yn gysurus.

Bu dwy briodas yn Nongrymai er pan ysgrifenais o'r blaen. Y gyntaf, U Sajar, yr unig ddyn ieuanc o Gristion yn Mawblei, ac Apmon, geneth o deulu paganaidd sydd yn cadw tafarn yn Nongrymai. Pan ymunodd hi â'r eglwys tua blwyddyn a hanner yn ol, cymerasom hi yn forwyn er ei dwyn o afael temtasiwn can belled ag y gellid. Y llall oedd yr eidde U Kypa Ka Hen, neu U Ngorsing, â Ka Lamon, gweddw y diweddar U Duonroi, yr athraw yn Mawphlang a Mawreng y clywsoch am dano lawer gwaith. Er pan fu ef farw yr oedd hi yn Nongrymai gyda ei theulu, ac yn athrawes yn Nongthymai, ac athrawes dda a gweithgar fu hi hefyd. Yr ydym yn teimlo colled wrth iddi ymadael i Mawphlang. Daeth tyrfa dda a pharchus i'r briodas, a chafwyd sylwadau ar briodas fel yr ordeiniwyd hi gan Dduw ar y cyntaf, ac ar ddyledswyddau gwŷr a gwragedd gan Dr. Griffiths (yr hwn oedd wedi dyfod o bwrpas i'r briodas) a minnau, ac aeth pob peth drosodd yn gysurus.

Pan yr oedd pethau fel hyn yn gwisgo gwedd gysurus, y mae yn ddrwg genyf ddyweyd fod yr achos, yn enwedig yn Nongrymai, wedi cael archoll a chlwyf drom iawn, a bydd yn hir yn gwellâu oddiwrtho. Ymhen deuddydd ar ol i mi ddychwelyd bu raid i mi droi U John, brawd U Jura, yr athraw, a'r hwn hefyd a arferai bregethu, ymaith am anfoesoldeb. Yr oedd ef yn un yr oedd genyf gryn ymddiried ynddo fel Cristion; a chan ei fod yn lled wybodus, ac yn deall athrawiaethau crefydd yn dda, yr oeddwn yn dysgwyl y gwnai efengylydd mewn amser. Ond dyma yr ymddiried wedi ei ddyfetha a'r gobeithion wedi eu dinystrio mewn mynyd awr, a dim i'w wneyd ond galaru uwch ben y dinystr, a cheisio tynu cysur oddiwrth yr ystyriaeth mai gwaith Duw yw y gwaith ar y Bryniau, ac y pâr Ef i *bob peth* gydweithio yn y diwedd er llwyddiant ei waith.

---

## DOSBARTH CHERRA.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. J. ROBERTS, CHERRA, DYDDIEDIG GORPHENAF 9, 1883.

Y MAE y gwaith mawr yn parhâu i fyned rhagddo yma, ac yr ydym wedi derbyn amryw i'r eglwys yn ystod y tri mis diweddaf. Y rhai cyntaf a dderbyniwyd oedd mam a dau o blant. Gwraig a phlant U Kynjobir, yr athraw oedd yn Ryngad, ydyw y rhai hyn. Yr oedd y fam wrthi yn dysgu darllen ei goreu er's amser maith. Yn ystod y gauaf diweddaf cymerwyd hi yn glaf, a daeth yma i "fwyta meddyginiaeth," chwedl y bobl yma. Tra y bu yma fe gynnyddodd lawer mewn gwybodaeth o bethau crefydd, er nas gellir dyweyd ei bod yn deall rhyw lawer eto. Ond ymddangosai yn bur syml a dirodres. Y mae hi a'i phlant wedi myned gyda'i gŵr i Khadsawphra i addysgu, ac mae yn debyg mai yno yr arosant, am amser beth bynag. Yr oeddym yr un noson yn derbyn dyn o Nongjiri, o'r enw U Sing. Y mae hwn yn ddyn tua chanol oed. Er pan ddechreuwyd gweithio yn Nongiiri y mae wedi bod yn ffyddlawn iawn. Y mae wedi dysgu darllen yn dda ac yn cael pleser mawr mewn darllen. Bydd yn darllen y Testament neu Lyfr Hymnau am oriau, a

llawer sèn y mae wedi gael gan ei gydbentrefwyr am ei "wiriondeb." Yr oeddwn yn ei ddysgwyl i'r eglwys er's dwy neu dair blynedd, ond yn cymeryd gofal i beidio ei gymell i ddyfod rhag iddo ddyfod *am hyny*. Yr oedd yn ddyn bucheddol iawn bob amser, a phan nad cedd ysgol yn Nongjiri byddai ef ac un arall yn myned yr holl ffordd i Sohbar ar y Sabboth er mwyn cael addoli. Y mae pellder o tua thair awr o Sohbar i Nongjiri. Y peth mawr ar ei ffordd o hyd oedd fod arno ofn y cythreuliaid—ofn anghyffredin. Yr oedd yn dyweyd wrthyf un tro ei fod yn dychymygu ei hun wedi dyfod i'r eglwys, ac i'r fath ddychryn ei ddal, nes y chwysodd ei holl gorff drosto. Nid am ei fod yn credu rhyw lawer yn eu gallu, ond ofn gwirion, ofn heb reswm yn y byd drosto. Ond pan ddaeth U Sing i'r eglwys yr oedd yn dda genyf fi ac eraill yma iddo aros cyhyd. Dyma yn ddiau un o'r dynion mwyaf deallgar, ac wedi treiddio i mewn i ystyr ysbrydol crefydd, a dderbyniasom er's blynyddoedd. Yn wir, yr oedd yn bleser siarad âg ef. Ar yr olwg gyntaf ni bussai neb yn meddwl fod cymaint ynddo; edrycha yn rhyw hanner gwirion a rhyw wên chwertbin ganddo, ond dyn rhagorol ydyw U Sing. Y mae ganddo wraig ac un plentyn, ond caled iawn yw ei wraig.

Tua'r un amser y derbyniwyd teulu cyfan o'r Dukhan. Yr oedd y gŵr wedi bod yn yr eglwys o'r blaen, ond wedi syrthio gyda yr hon sydd yn wraig iddo yn awr. Yr ydych yn gwybod am ei enw, U Sahonrai. Y mae ef yn ysgolaig da iawn; ei atebion ef a anfonais i chwi amser yn ol. Ni ddarfu iddo ef bellhâu o gwbl, ond yr oedd yn ofidus iawn am ei bechod; ac ychydig iawn a welais yn y wlad hon yn amlygu cymaint o edifeirwch am ei bechod ag ef. Yr oedd gan ei wraig amryw blant o un arall. Daeth y cyfan i'r eglwys gyda'u gilydd, yn chwech mewn nifer, ac y mae golwg addawol arnynt yn awr.

Tua mis yn ol yr oeddym yn derbyn yn ol un arall a syrthiasai amser maith yn ol. Yr oedd hon hefyd fel wedi newid cryn lawer ragor yr hyn yr arferai fod. Trafferth, a thrafferth go fawr, a gafwyd gyda hi bob amser. Ond y mae golwg bur wahanol arni yn awr. Y mae yn darllen llawer mwy ar y Bibl, ac yn hoffi ymddyddan am bethau crefydd. Bu ei gŵr farw yn bur sydyn, ac y mae hithau wedi ei gadael yn weddw gyda'i phlentyn bach. Nith ydyw hi i U Kher, yr efengylydd o Sohbar. Yr oedd ei chwymp yn archoll ddofn iawn i'r holl deulu.

Yr wythnos ddiweddaf yr oeddym yn derbyn saith i'r eglwys o Sohbar. Un oedd Ka Kymi Ka Hajai a'i dau blentyn. Gweddw un o *Sirdars* y pentref ydyw hi. Yr oedd ei gŵr, ar ol bod yn Gristion ac yn athraw am flynyddoedd, wedi troi yn un o'r dynion meddwaf yn y pentref. U Wad oedd ei enw. Druan o hono, yr oedd yn crynu fel deilen ei holl gorff drosto, a bu farw yn ddyn meddw. Y mae ei weddw wedi dysgu darllen yn dda, ac y mae ar y ffordd i ddeall hefyd. Y llall oedd gwraig i un sydd eisioes yn Gristion. Ei henw hi ydyw Ka Kymi Ka Peli. Yr oedd yn dyfod gyda'i geneth fach, Ka Peli. Y mae hithau wedi dysgu darllen, ac y mae yn deall yn bur dda. Yn awr dyma yr holl deulu yn yr eglwys—peth mawr iawn ydyw cael teulu cyfan fel hyn. Un arall ydyw geneth fach o'r enw Ka Hajai. Y mae ei thad hi, U Shan, yn un o'r Cristionogion goreu yn Sohbar, ond y mae y fam yn parhâu yn galed iawn. Yr oedd y tad wedi crefu llawer am gael yr eneth fach i'r eglwys, a'r fam yn gwrthod, ond o'r diwedd fe benderfynodd y mynai hi i'r eglwys bydded a fo. Boreu ddydd Mercher diweddaf yr oedd wedi myned â'r eneth fach i dŷ U Kher, ond pan ddeallodd y nain eu bod am ddyfod â hi i Nongsawlia i gael ei derbyn, dyma hi yn hel yr holl deulu at eu gilydd ac ymaith â hwy i'w dwyn yn ol trwy drais. Nid oedd dim rhesymu a wnaethai y tro gyda hwy, a chan na wnai y tad ildio, aethant i ymaflyd yn yr eneth, a dyna hi yn ymladdfa, ond y tad a drechodd; ac fe ddaeth â'r eneth yma, ac fe'i derbyniwyd. Geneth fach ddymunol iawn ydyw; y mae tua chewch neu saith oed. Cânt lonydd bellach; oblegid yn ol crefydd Sohbar ni ellir ei derbyn yn ol heb aberth gwerth tua hanner cant o *rupees*. Y llall sydd chwaer i U Shan, o'r enw Ka Nimon. Y mae hi wedi tyfu i fyny ac yn medru darllen yn rhwydd.

Yr ydym yn cael profedigaethau hefyd. Yn y cyfarfod eglwysig nesaf byddwn yn gorfod tori dau allan am anfoesoldeb.

Wel, y mae Boising wedi myned yn ddyn tlawd. Pan ar fin ennill ei holl etifeddiaeth, dyma ei ofynwyr yn rhedeg arno am ddyled; ac nid yw o fawr wahaniaeth pa un ai ennill ai colli a wna. Druan o hono, y mae yn wir wrthddrych tosturi! Gweddïwch drosto, frodyr anwyl, a thros ei deulu.

---

## Llydaw.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. W. JENKYN JONES, DYDDIEDIG CONCARNEAU, FINISTERE, GORPHENAF 26AIN, 1883.

Y MAE bellach oddeutu mis o amser wedi pasio er pan ysgrifenais ychydig o hanes

y gwaith yn Llydaw, ac y mae yn sicr genyf nad yw yn annyddorol genych gael ychydig ffeithiau sydd yn dangos yr hyn sydd yn cael ei wneyd yma a thraw drwy y wlad.

Ar y 24ain cynfisol yr oeddem yn cael y pleser o fod yn bresennol yn agoriad capel newydd yn Lanneanou, oddeutu deuddeg milldir i'r de-dwyrain tua'r mynyddoedd o Morlaix. Pentref bychan ydyw Lanneanou, lle y mae Mr. Jenkins, cenadwr y Bedyddwyr, wedi bod o bryd i bryd yn cynnal cyfarfodydd yn ystod y chwe' blynedd diweddaf. Ymhell cyn amser dechreu y cyfarfod, yr oedd lliaws mawr wedi ymgasglu ynghyd, ac erbyn un o'r gloch yr oedd y lle wedi ei orlenwi: ac wrth gymeryd i'r cyfrif yr hanner cant neu ragor oedd yn aros o amgylch y drysau a'r ffenestri, gallwn ddyweyd fod oddeutu 220 yno y dydd hwnw yn gwrando yr efengyl. Gwrandawai y bobl gydag astudrwydd mawr; ac er i'r cyfarfod barhâu am oddeutu dwy awr, nid oedd neb yn troi ymaith, ond dymunent gael treulio ychydig amser yn ychwaneg i ganu hymnau. Y mae Mr. Jenkins wedi cysylltu â'r capel, yn ol yr hen arfer yn Nghymru, dŷ capel ac ystabl, hynod gyfleus. Er fod y bobl yn y rhanau yma yn hynod anwybodus, ac heb ysgol ddyddiol hyd yma yn y plwyf, y maent i raddau helaeth yn rhydd oddiwrth ragfarn tuag at y Protestaniaid, ac yn meddu ar ddigon o hyfdra i ddangos hyny.

Y mae Mr. Kissel hefyd yn parhâu i gynnal y cyfarfodydd yn Kerentrech, a bydd yn llawenydd genych ddeall fod ei lafur yn cael ei goroni â llwyddiant; y mae amryw deuluoedd eisoes wedi amlygu dymuniad am gael ymuno â'r eglwys, ac yn anfon eu plant yn gyson i'r Ysgol Sabbothol i dderbyn addysg grefyddol. Bwriada ddechreu cynnal cyfarfodydd yn fuan yn Carnel, y tu arall i'r dref.

Nid yw y nifer sydd yn dyfod i'r cyfarfodydd yn Rosporden, gymaint ag ydoedd; mae misoedd yr haf yn temtio y dynion ieuainc ymhob man i fyned i rodiana yn yr hwyr. Y mae amryw bersonau er hyny yn dyfod gyda chysondeb, ac yr ydym bob amser yn cael dystawrwydd ac astudrwydd dyladwy.

Yr ydym yn awr ac yn y man hefyd yn cyfarfod â phersonau unigol sydd yn dangos dyddordeb mawr yn y cwestiwn crefyddol, ac yn profi fod ymchwiliad dystaw a dirgelaidd yn meddwl llawer am y gwirionedd. Cyfarfyddais âg enghraifft o hyn yn Pontaven er ys pythefnos yn ol. Wedi i ni gymeryd ychydig luniaeth mewn gwestdŷ sydd yn cael ei gadw gan ddwy foneddiges ddibriod, cawsom ymddyddan âg un Saesones (*Artist*) oedd wrth y bwrdd gyda ni; ac yn nghwrs yr ymddyddan rhoddais ar ddeall fy amcan yn ymweled â'r wlad yma. Ymhen ychydig amser daeth y ddwy foneddiges sydd yn cadw y tŷ i mewn, ac ar unwaith dechreuasant fy holi gyda golwg ar amryw bethau mewn perthynas â'r Bibl a Phrotestaniaeth; dangosasant i ni gopi o'r Testament Newydd, oedd wedi ei brynu gan eu mham er ys oddeutu ugain mlynedd; ac yr oedd yn bleser genyf weled mai nid *ornament* ydoedd, ond ei fod wedi ei dreulio yn dda, ac yn dangos fod defnydd yn cael ei wneyd o hono. Buom yn ymddyddan â hwynt am oddeutu awr a hanner neu ddwy awr o amser, ac erfynient arnaf alw yno pa bryd bynag y deuwn drachefn i'r gymydogaeth.

Un peth arall yr ydwyf wedi sylwi arno yn ddiweddar ydyw, yr awydd sydd ar y bobl i fod yn bresennol mewn angladdau Protestanaidd, a'r argraff amlwg y mae y pregethu yn ei gael arnynt yno. Y mae yn ddrwg genyf ddyweyd fod llawer o amgylchiadau felly wedi ein galw at ein gilydd yn y rhan yma yn ystod y deuddeg mis diweddaf, ac y mae y bobl yn tyru i'r capel ac i'r fynwent i wrando, gan na feiddia yr offeiriaid bellach wahardd iddynt roddi eu presennoldeb mewn angladdau. Pan gaffom gyfleusdra yr ydym yn arfer rhanu traethodau bychain i'r bobl cyn iddynt ymadael. Mewn un angladd yn ddiweddar (sef mab Mr. Planta), cefais gyfleusdra i ranu oddeutu chwe' chant o honynt, a derbyniai pawb hwynt gyda sirioldeb mawr.

Y mae Mr. Groignec ar hyn o bryd yn ymweled â'r wlad o amgylch Pont l'Abbé, ac y mae y derbyniad y mae wedi ei gael o'r mwyaf calonogol. Buom yno gydag ef am ychydig ddyddiau, a gwelsom, drwy y nifer o Fiblau a Thestamentau a werthasid, a'r ymddyddan a gawsom âg amryw o'r bobl yma a thraw, fod y bobl yno yn chwilio am y gwirionedd. Yr oedd y Sabboth a dreuliasom yno yn ddydd mawr y flwyddyn yn Pont l'Abbé,—dydd gwyl Notre Dame des Carmes, Sant y Plwyf. Cymerasom fantais ar y dydd i ranu traethodau; rhoddasom uwchlaw pedwar cant, a gallasem yn hawdd ranu cymaint arall, pe buasai genym ystôr digonol o honynt. Clywais oddiwrth Mr. Groignec ar ol hyny fod y traethodau wedi gadael argraff ragorol ar feddyliau y bobl, a bod llawer iawn o siarad am danynt. Bwriadwn gymeryd mantais ar y teimladda yma, a'r awydd sydd yn y bobl am wybodaeth grefyddol, drwy gychwyn cyfarfodydd yno oddeutu mis Medi neu Hydref nesaf, os gwêl yr Arglwydd yn dda agor y ffordd i ni. Y mae Mr. Groignec yn barod i ddyfod i fyw i'r rhanau yma, neu ryw ran arall yn y Gor-

llewin, fel ag i ni fod o fantais y naill i'r llall. Y mae Lorient yn rhy bell oddiwrth faes llafur presennol ein cenadaeth ni, a bydd yn rhaid i ni beidio a gwasgaru yn ormodol ein hymdrechion. Yr wyf yn cymeryd yn ganiataol fod y Gymdeithas yn barod i dalu cludiad ei ddodrefn, &c., i'w gartref newydd, pa le bynag y bydd hwnw.

Gobeithiaf hefyd, yn ystod y gauaf, allu dechreu cyfarfodydd yn Concarneau.

Y mae Llydaw yn estyn ei breichiau yn ddystaw at Dduw. Y mae yn sicr nad oes ond ychydig o leoedd yn y wlad bellach nas gellid cynnal cyfarfodydd ynddynt.

Byddai yn dda genyf glywed oddiwrthych yn fuan gyda golwg ar y cwestiwn uchod sydd yn dal cysylltiad â Mr. Groignec.

Yr wyf bellach yn ymgynnefino ychydig â'r Llydawaeg; Bwriadaf yn y cyfarfod nesaf yn Rosporden ddarllen rhanau o'r ysgrythyrau yn yr iaith hono, a gwneyd ychydig o anerchiadau gyda hyny, gan fod yno amryw y troion diweddaf nad ydynt yn deall ond ychydig Ffrancaeg.

---

## CYFNEWIDIAD YN NHERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr. Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Gyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain. Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddioedi ymhob eglwys i wneyd y casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad anghenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

Dymunir galw sylw neillduol at y penderfyniadau canlynol a basiwyd gan y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf.

1. Ein bod yn dymuno ar i bob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth benu ar ryw fis neillduol yn yr hwn i wneuthur y casgliad tuag at y Genadaeth Dramor, ac annog yr eglwysi i wneyd pob ymdrech i gwblhâu y casgliad o fewn y mis hwnw.

2. Ar fod i sylw neillduol gael ei alw at yr achos cenadol yn y Cyfarfod Misol am dro neu ddau cyn yr adeg y gwneir y casgliad

3. Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd cenadol perthynol i'r sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysorydd Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

Gan fod blwyddyn y Genadaeth i derfynu ar ddiwedd Rhagfyr, taer erfynir ar i swyddogion eglwysig, arweinwyr cyfarfodydd plant, &c., annog y plant i ddechreu defnyddio y Blychau a'r Tocynau ar unwaith.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| O Arfon, Casgliad Sabboth Cenadol y Plant ............ | 2 | 6 | 4 |
| (Dymuna Mr. Jonathan i'r manylion canlynol gael eu cyhoeddi am y swm uchod:—Casgliad Plant Dysgwylfa, £1 8s. 8½c.; Cyfarfod Misol Jerusalem. 17s. 7½c.) | | | |
| Capel Bootle ............ | 47 | 9 | 0 |
| Capel David Street, Liverpool ........ | 13 | 10 | 5 |

D.S. Dymunir hysbysu na chydnabyddir yn y Cronicl Cenadol rhagllaw unrhyw symiau ond a fyddant yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn y 15fed o'r mis blaenorol.

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, John Griffith, Esq., 72 *Tower Buildings, Water Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 636.] HYDREF, 1883. [LLYFR LIII.

## RHYFEL Y SAINT.

### GAN Y PARCH. JOHN WILLIAMS, LLANERCHYMEDD.

EPHESIAID vi. 13: "Am hyny cymerwch atoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg, ac wedi gorphen pob peth, sefyll."

ANNOGAETH yw y geiriau hyn i'r rhai r ysgrifenai yr apostol atynt i ymleimlo â'u peryglon ysbrydol, ac i godi lan eu harfau i ymladd â'u gelynion. Mae y rhyfel sydd gan bawb a gânt yned i'r nefoedd i'w hymladd, wedi lechre yn fore, ïe, wedi dechre yn y iefoedd. Parhâd ydyw o'r gwrthryfel gyfodwyd gan yr angylion syrthiedig. Cybir gan rai o'r meddylwyr galluocaf od y diafol, a elwir yn benaeth y ythreuliaid, wedi bod unwaith yn ichel yn y nefoedd, ac mai yr hyn a u yn achos neu achlysur o'i gwymp doedd, i'r Arglwydd ddadguddio ei wriad i greu dyn, ac i godi y natur ldynol i undeb â Pherson ei anwyl Fab, a'i osod ef yn y natur hon yn ben r yr holl greadigaeth. Yn lle derbyn dadguddiad hwn gydag ysbryd addolar ac ymostyngol i'r ewyllys Ddwyfol, ernir i'r cyfryw angel mawr ddangos wrthwynebiad i ewyllys Duw oddiar ieiddio y meddwl o wasanaethu natur edd islaw nid yn unig iddo ei hunan, nd hefyd i'r isaf o'r holl angylion. Hudwyd tyrfa o'r angylion i'r fradriaeth; a chario y gwrthryfel hwn mlaen yw unig amcan y diafol yn ghynnaliad ei deyrnas ar y ddaear, rwy hudo dynion i ddangos eu hanfudd-dod i lywodraeth yr Arglwydd lesu Grist.

Yr hudoliaeth hon sydd yn cael ei wrthwynebu gan yr apostol yn y hanau cyntaf o'r bennod hon. Wedi langos beth yw rhwymedigaethau gwaianol gymeriadau tuag at eu gilydd, plant i fod yn ufudd i'w rhieni—y hieni i faethu eu plant yn addysg ac thrawiaeth yr Arglwydd—y gweision fod yn ffyddlawn ac yn ddarostyngedig i'w meistriaid—y meistriaid i fod yn gyfiawn, ac yn dirion tuag at eu gweision,—y cymhelliad mawr sydd gan yr apostol i gyflawniad ffyddlawn o'r dyledswyddau hyn, yw dangos fod y cymeriadau a gynnyrchir ganddo yn cael cyfleusdra yn hyn i ddangos eu parch, neu ymostyngiad, i lywodraeth yr Arglwydd Iesu Grist. Mae yn anmhosibl i'r naill ddyn fod yn wir ffyddlawn tuag at y llall heb ei fod trwy hyny yn talu gwarogaeth i Fab Duw, ac yn anmhosibl i neb fod yn anffyddlawn i'w ddyledswyddau heb ei fod yn taflu dirmyg ar ei awdurdod. Mae y diafol yn deall hyn yn eithaf da, ac felly ei unig amcan yn temtio dynion i fod yn anffyddlawn i'w dyledswyddau yw, eu cadw yn anufudd i lywodraeth Brenin Sïon. Mae yr apostol yn dangos mai gelyn mawr dyn yw y diafol. "Gwisgwch holl arfogaeth Duw, fel y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion diafol." Ac yn y ddeuddegfed adnod mae efe yn dangos nad enw gwag yw y diafol, ond ei fod yn dynodi person, a hwnw yn berson galluog iawn. "Oblegid nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysbrydol yn y nefolion-bethau."

Yma dangosir gelyniaeth y diafol yn ei natur ysbrydol a'i allu mawr: "Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd." Mae yr ymadroddion "gwaed a chnawd" yn golygu weithiau y natur ddynol, a'r natur ddynol yn ei gwendid. Ond nid dyma ein gelyn. Nid â dynion yr ydym yn ymladd. Nid oes dim anghyfartal

mewn gweled dynion yn ymladd â'u gilydd, er mor wrthun yw hyny. Os yw y naill ddyn yn ymosod â'r cleddyf, mae gan y llall gleddyf i'w amddiffyn ei hun. Os yw y naill fyddin yn dyfod ymlaen gyda magnelau a bwledau, mae gan y fyddin arall yr un fath arfogaeth i'w hamddiffyn ei hun, fel nad oes dim yn anghyfartal mewn gweled y naill waed a chnawd yn ymosod ar y llall. Bryd arall mae yr ymadroddion hyn yn golygu yr anian lygredig sydd yn nghalon dyn fel pechadur; ac y mae rhai yn dal allan mai dyma y meddwl yn y fan hon, ac y maent yn esbonio "nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd *yn unig*." Mae calon dyn trwy ei llygredigaeth yn ei erbyn ef ei hun; ond nid dyna y cwbl. Unwaith y delo dyn i ddeall fod ei galon ei hun yn ei erbyn, mae efe yn rhwym o deimlo nad dyna yr oll o'i elynion, ond fod yna ryw allu arall i fyned yn ei erbyn hefyd. Golygfa hynod o dorcalonus yw gweled dinas wedi ei hamgylchu gan luoedd o elynion; eto, tra y cedwir hwy o'r tu allan, a'r muriau heb eu niweidio, mae yna obaith am ddiangfa i'r dinaswyr. Ond tybier fod yna elyn o'r tu fewn i'r ddinas, a hwnw yn gallu cario ymlaen gyfathrach â'r gelyn sydd o'r tu allan, mae y dinaswyr mewn perygl bob moment o gael eu bradychu ganddo, trwy iddo gael mantais ar eu diofalwch i agor y dorau a gollwng y gelyn o'r tu allan i ddyfod fel afon lifeiriol am eu pen. Dyma, yn ol Gurnal, yw sefyllfa enaid pechadurus. Mae holl alluoedd uffern wedi amgylchu dinas ei enaid; ac i wneuthur y dychryn yn fwy, mae yna elyn o'r tu fewn—mae ei galon yn llygredig, fel y mae efe yn y perygl bob moment i syrthio yn ysglyfaeth i'r gelynion sydd wedi amgylchynu ei enaid. A dyma y syniad sydd yn y geiriau hyn: "Ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn." Mae y geiriau yn dangos gelyniaeth a llywodraeth y diafol yn ei gallu a'i nerth. Mae rhai dynion yn dadleu nad oes gan y diafol lywodraeth ar ddyn, er ei fod yn bechadur. Mae y gwirionedd hwn yn rhy amlwg i'w ddadleu, oblegid pa le bynag y ceir dynion, nid oes eisieu bod yn faith yn eu plith na welir eu gweithredoedd a'u geiriau yn profi eu bod yn plygu i'r diafol fel eu tywysog ac yn ei addoli fel eu duw; a'r gallu sydd ganddo i gadw meddiant o'i ddeiliaid yw tywyllwch. Mae'r gair hwn yn golygu anwybodaeth, ac anghrediniaeth. Cedwir meddiant gan y diafol ar ei eiddo yn ngwledydd paganaidd y byd trwy anwybodaeth; ac mae efe yn llwyddo i wneyd hyn yn ngwlad efengyl trwy anghrediniaeth. "Mae duw y byd hwn yn dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist, yr hwn yw delw Duw." Dyma y gallu sydd yn ddigon cryf i ddystrywio eneidiau dynion. Ac i'w wneyd yn fwy brawychus mae yn ysbrydol yn ei natur: "drygau ysbrydol," neu fel y darllenir ar ymyl y ddalen, "ysbrydion drwg." Mantais fawr i ddyn yw cael gweled ei elyn; ond am ein gelyn mawr ni, mae efe yn anweledig, ac ar y cyfrif hwn y mae yn fwy peryglus, ac y mae gan bob dyn crefyddol brofiad chwerw o hyn. Mae yn ymosod arno ar y ffordd pan wrtho ei hunan—yn aflonyddu arno yn y gynnulleidfa—ac nid yw yn cael ymostwng o flaen gorsedd gras mewn dirgel fan nad yw yn gorfod teimlo fod y gelyn hwn, mewn modd anweledig iddo ef, yn llwyddo i daflu ei saethu niweidiol i'w galon.

"Yn y nefolion-leoedd," neu "nefolion-bethau." Dyma destun yr ymrafael, neu y rhyfel ysbrydol—"pethau y nefoedd." Nid pethau y ddaear. Nid yw yn werth y drafferth gan y *diafol* i ymladd â dyn am y pethau a welir; nid ei daflu o'i dŷ i'r heol, neu allan o'i dyddyn, yw ei amcan yn temtio dyn i bechu yn erbyn Duw, ond ei rwystro i'r nefoedd, gwneyd drwg rhyngddo a'i Dduw, ei amddifadu o'i Waredwr; ie, ni bydd y gelyn hwn wedi cyrhaedd ei amcan tu yma i dynu y pechadur i'r un carchar âg ef ei hun yn y pen draw. Ac os bu rhyfel erioed yn cyfreithlon i ddyn godi arfau, mae y rhyfel hwn felly; os wyt ti, fy nghyd-ddyn, yn rhoddi rhyw bwys ar gael myned i'r nefoedd, mae yn rhaid i ti ymladd tuag at fyned yno.

Yn y cysylltiad hwn yr ydym yn gweled nerth a phriodoldeb cynghor yr apostol yn y testun: "Am hyny cymerwch atoch holl arfogaeth Duw, fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg, ac wedi gorphen pob peth, sefyll."

Mae yma dair annogaeth dros ein

cymhell i ddyfod allan yn erbyn temtasiynau y diafol. Y gyntaf ydyw,—

I. FOD DUW O'I RAS WEDI DARPARU ARFOGAETH ER GWRTHWYNEBU GELYNIAETH Y DIAFOL: "Am hyny cymerwch atoch holl arfogaeth Duw."

Mae holl draul y rhyfel ysbrydol i ddisgyn yn gwbl ar ras Duw. Pe byddem yn y goleu am werth y gwirionedd hwn, ni a fyddem yn bur barod i fendithio yr Arglwydd am hyn; oblegid y mae rhywbeth pwysig mewn costau rhyfel. Mae treuliau rhyfel Prydain Fawr yn faich ar y deiliaid, fel y mae pawb o honom yn gorfod ei deimlo mewn rhyw gysylltiad neu gilydd. Ond pa beth bynag yw y draul a'r drafferth o ddarostwng galluoedd uffern, mae y cwbl i ddisgyn ar Dduw. Ac mae Gurnal yn sylwi, nad all dyn daflu mwy o ddirmyg ar ras Duw na chymeryd arno ei fod yn myned allan yn erbyn ei elynion ysbrydol yn ei nerth a'i arfau ei hun. Y cwbl sydd yn anghenrheidiol yma yw arfogaeth Duw.

Yn awr, pa bethau a olygir wrth yr arfogaeth hon? Mae yr apostol yn dywedyd yn y ddeuddegfed adnod, "Heblaw hyn, fy mrodyr, ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef." Heblaw y dyledswyddau a nodir yn yr adnodau blaenorol, yr wyf yn galw arnoch i'w cyflawni, nid yn eich nerth eich hunain, ond yn nerth yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef, sef yr Arglwydd Iesu Grist. Dyma yr arfogaeth, a'n dyled ninnau yw ei defnyddio. "Gwisgwch am danoch yr Arglwydd Iesu Grist," trwy ddefnyddio ei haeddiant yn sail ein holl ymwneyd â Duw—yfed ei ysbryd—ymdrechu i ddilyn ei esiampl, a'i defnyddio fel ein harfogaeth yn erbyn ein holl elynion ysbrydol. Yr oedd yr Arglwydd Iesu Grist fel Cyfryngwr, yn dal perthynas â thair gwlad neillduol: â'r nefoedd, â'r ddaear, ac âg uffern. Yn ei berthynas â'r nefoedd daeth i'r byd i fod yn iawn dros ein pechodau; yn ei berthynas â'r ddaear daeth yma mewn un cysylltiad neillduol i fod yn esiampl i ddynion; ac yn ei berthynas âg uffern daeth yma i fod yn orchfygwr. "I hyn yr ymddangosodd Mab Duw fel y dattodai weithredoedd diafol." Creadur rhyfedd ac ofnadwy yw dyn; mae perthynas rhyngddo â Duw yn y nefoedd, â dynion ar y ddaear, ac â chythreuliaid yn uffern. Yn awr os yw dyn am ennill cymeradwyaeth y gwledydd hyn, mae yn rhaid iddo wisgo am dano yr Arglwydd Iesu Grist. Os yw yn meddwl ennill cymeradwyaeth ei Farnwr yn y nef, mae yn rhaid iddo wisgo am dano gyfiawnder y Messïah. Os yw yn meddwl bod yn ddefnyddiol dros Dduw yn ei genedlaeth, mae yn rhaid iddo adael ei fympwyon ei hun, a cherdded yn ôl traed yr Hwn a adawodd i ni esiampl fel y canlynem ei ol ef. Ac os ydyw yn meddwl am gael goruchafiaeth ar ei holl elynion ysbrydol, mae yn rhaid iddo fyned yn eu herbyn yn enw ac yn ngallu yr Arglwydd Iesu Grist.

Mae yr apostol yn dangos hefyd fod grasau yr Ysbryd Glân yn arfogaeth i'r cristion, pa rai a elwir yn wregys gwirionedd, dwyfroneg cyfiawnder, esgidiau parotöad efengyl tangnefedd, tarian y ffydd, helm yr iachawdwriaeth, cleddyf yr Ysbryd yr hwn yw gair Duw, a gweddi. "Gan weddïo bob amser, a phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd." Mor hardd ac mor ddiogel yw pechadur wedi ei wisgo yn yr arfogaeth hon, ac ar ei liniau o flaen Duw, yn deisyf am ei amddiffyniad iddo! Tra y cedwir ef fel hyn mae yn ddiogel.

Yr ail gymhelliad neu annogaeth ydyw,—

II. FOD GWRTHWYNEBU YR ELYNIAETH HON WEDI EIN GWISGO YN ARFOGAETH DUW YN SICRHAU BUDDUGOLIAETH: "Fel y galloch wrthsefyll yn y dydd drwg."

Mae yr ymadrodd *dydd drwg*, a'i gymeryd yn gyffredinol, yn golygu holl yrfa y credadyn yn y byd hwn. Ac nid oes achos i neb deimlo yn siomedig, yn herwydd hyn; oblegid un o'r pethau cyntaf a ddywed ein Gwaredwr wrth ei ganlynwyr yw, "Yn y byd gorthrymder a gewch." Ac er fod hyn yn tueddu i osod ofn ar y gwan, eto mae y mynegiad hwn yn cael ei ddilyn gan un o'r gwirioneddau gogoneddusaf yn yr efengyl: "Eithr cymerwch gysur, myfi a orchfygais y byd." Nid oes dim i gyfarfod y cristion nad yw o dan lywodraeth yr Hwn a orchfygodd y byd. Nid all amgylchiadau goreu y byd hwn newid dim ar brofiad y cristion. Pe byddai bosibl ei godi o'r amgylchiadau isaf i'r man uchaf y gall pethau y byd hwn godi dyn, eto dyna fyddai ei brofiad, "dydd drwg:" mae anghenion ei

galon fel pechadur, a'r ymosod gwastadol sydd arno gan ei elynion, yn rhwym o wneuthur iddo ei theimlo yn ddydd drwg ymhob man tu yma i fod yn mynwes Abraham.

Ond mae y geiriau hyn hefyd yn golygu amgylchiadau neillduol yn mywyd pob dyn crefyddol; dydd profedigaeth, a dydd marwolaeth. Mae amser profedigaeth yn teilyngu cael ei alw yn "ddydd drwg," am ei fod yn dangos beth yw egwyddorion llywodraethol calon dyn. Mae pawb sydd yn meddu ar synwyr yn ofalus am yr hyn a olygir ganddo yn gyfrinach ei galon. Dyn ffol yw yr hwn sydd yn traethu ei feddwl yn rhydd ac yn rhwydd ar bob peth a ddaw o dan ei sylw. A pheth mawr i ddyn yw cael myned trwy amgylchiadau a phrofedigaethau y byd hwn heb iddynt ei ddadguddio yn ddrygionus yn egwyddorion dyfnaf ei galon.

Ond pa fodd bynag y gallwn ymdaro yn helyntion y fuchedd hon, yr ydym â'n gwyneb ar amgylchiad sydd yn sicr o ddwyn gwirionedd yr adnod hon yn brofiad byw i'n calon: dydd drwg—dydd marwolaeth, gan mai dyna fydd profiad y dyn duwiol yr adeg hono. A dyma boethder y frwydr, dybygid. Dyna y dyn duwiol, ïe, y dyn duwiolaf yn y fro, ryw ddiwrnod wedi cael ei wasgu i'w wely; ac y mae yno yn teimlo ei fod wedi tynu ei draed i'r gwely i farw. Mae yn teimlo ei fod wedi ffarwelio â'r byd yn ei bob peth, ei drafferthion a'i olygfëydd, ac y mae'r byd wedi cefnu arno yntau, gan ei fod yn awr yn pallu gweinyddu dim cysur iddo. Wele, y mae hwn yn cael llonydd gan ei elynion ysbrydol yn awr. Na, mae yn gorfod teimlo ei fod yn sŵn y rhyfel yn barhaus. Mae efe yn yr unigrwydd yna yn cael hamdden i adolygu ei yrfa yn y byd, ac y mae yn dyfod ar draws ei bechodau; a chan eu bod yn ymddangos fel mynyddau, mae'r gelyn yn y fan yn ei demtio i ammheu parodrwydd Duw i fadden. Mae efe yn y tawelwch yna yn gorfod ymdeimlo â nerth llygredigaeth ei galon; ac y mae y gelyn yn cymeryd mantais ar hyny i'w berswadio mai rhagrithiwr yw ar ymylon y byd a ddaw. Ond y mae y dyn hwn wedi ei wisgo yn yr holl arfogaeth, ac felly y mae efe yn gallu gwrthsefyll yn y "dydd drwg." Yn lle llwfrhâu yn yr olwg ar ei bechodau, mae gobaith iachawdwriaeth yn dal ei ben i fyny; ac er ei fod yn gorfod teimlo nerth llygredigaeth ei galon, eto mae yn ei enaid hyder y bydd i'r Hwn a ddechreuodd y gwaith da ei orphen hefyd; ac fel hyn, mae efe yn marw gan wrthsefyll yn y "dydd drwg."

Y drydedd annogaeth yw,—

III. FOD YR ORUCHAFIAETH HON YN ARWEINIAD I MEWN I ORPHWYSFA DRAGYWYDDOL: "Ac wedi gorphen" neu orchfygu "pob peth, sefyll."

Mae lle i ofni y gall dau ddosbarth gwahanol i'r un y cyfeirir ato yma ddarllen y sylwadau hyn. Dyna un: y rhai sydd yn sefyll heb deimlo eto fod ganddynt elynion. Nid yw y dyn wedi teimlo erioed fod *ei galon ei hun* yn ei llygredigaeth yn ei erbyn; ac nid yw wedi deall fod gan y diafol yr un amcan drwg yn ei waith yn ei demtio i bechu yn erbyn Duw. Mae'r creadur yn sefyll yn segur yn nghanol ei beryglon i gyd, heb eu gweled. *Dyna* y dosbarth arall: y rhai a welwyd unwaith yn eu proffes grefyddol *yn cymeryd* arnynt eu bod wedi gweled eu peryglon, ac yn dyfod allan i ymladd â'u gelynion; a gwelsom lawer *yn ein* gwlad yn gwneuthur hyn mewn agwedd obeithiol iawn. Yr oedd y dyn ieuanc yn bloeddio buddugoliaeth yn *nechre* y frwydr; ond erbyn hyn y mae efe wedi sefyll, a'r frwydr heb ei hennill eto, ac y mae yr holl elynion yn fyw *yn barhâus*. Nid oes yr un olygfa ddifrifolach na hon yn holl lywodraeth Duw; dynion wedi ymyraeth â chrefydd yn sefyll yn ddiofal a segur, gan adael i'r diafol gael ei ewyllys arnynt; ac nid oes dim yn sicrach o arwain dynion i waradwydd tragywyddol na'r diofalwch hwn.

Ond wele yma sefyll â'r gwaith wedi ei orphen, a'r holl elynion wedi eu concwerio. Mae hyn yn cynnwys yn

1. *Sefyll yn fuddugol ar yr holl elynion.* Mae y credadyn yn cael aml fuddugoliaeth ar ei elynion yn y fuchedd hon. Mae'r gelyn yn ei demtio i bechod, ond gwrthsefyll y mae'r cristion; nid plygu gyda'r demtasiwn, ond fel y graig yn gwrthsefyll yr holl dònau. Ond cyn ei fod wedi cael hamdden i deimlo mai efe sydd wedi gorchfygu, mae y gelyn yn ymosod drachefn gyda nerth adnewyddol. Eithr dyma sefyll yn y diwedd a'r holl elynion wedi

eu gorchfygu am byth, a'i holl waith wedi ei orphen. Bore dedwydd ar deimladau cenedl Israel oedd y diwrnod hwnw ar lân y Môr Coch, a'r Aiphtiaid gelynol oll wedi eu dyfetha, byth i godi mwy i'w haflonyddu. Hawdd y gallasent gymhell eu gilydd i ganu i'r Arglwydd, canys "gwnaeth yn ardderchog," a mwy, "bwriodd y march a'i farchog i'r môr." Nid oes achos ofni Pharaoh a'r Aipht a'i chaledi mwy; mae yr holl elynion "wedi soddi fel plwm yn y dyfroedd cryfion." Gwelaf yn hyn ddarlun o fore sydd yn aros holl blant Duw. Ofni yr wyt yn awr, gristion; ofni llygredigaeth dy galon, ofni'r diafol, ac arswydo wrth feddwl cyfarfod âg angeu, y gelyn diweddaf. Ond mor wir a'th fod eisoes wedi dy wisgo yn yr holl arfogaeth, ac yn gallu gwrthsefyll yn y dydd drwg, y mae bore yn dy aros pan y cei sefyll yn hamddenol, ac edrych yn ol, a'r holl elynion wedi boddi, y diafol wedi cael ei siomi er ei holl ddichellion yn ei demtasiynau i ti, llygredigaeth dy galon wedi myned ar goll, angeu wedi ei basio heb deimlo yr un niwed oddiwrth ei golyn.

"Os gwelir fi fel hyny
Tragwyddol foli a fydd."

Dal y palmwydd fydd wedi hyny, a bloeddio buddugoliaeth er dyrchafu gras Duw am gynnal creadur mor eiddil mewn brwydrau mor boethion; a chei wneuthur hyn i boeni cythreuliaid uffern yn herwydd cael eu siomi yn eu hymosodiadau arnat.

2. *Sefyll yn nghymeradwyaeth Duw yn y dydd diweddaf.* Mae Duw "wedi gosod diwrnod i farnu y byd mewn cyfiawnder trwy y Gŵr a ordeiniodd efe." A dyna fydd gwaith y dydd hwnw: adolygu ymddygiadau plant dynion yn y frwydr fawr sydd yn cael ei chario ymlaen ar y ddaear rhwng nefoedd ac uffern. Mae yn amlwg oddiwrth yr Ysgrythyrau fod perthynas agos rhwng yr hyn yw ymddygiad dynion yn y frwydr hon â'r hyn fydd eu sefyllfa yn y dydd hwnw. Mae y naill ddyn yn rhy wan a diymadferth i ymladd dim; pan y temtir ef i bechod, mae yn plygu i'r demtasiwn yn y fan. Pan y dywed pechaduriaid wrtho, "Tyred gyda ni," mae efe yn myned yn ebrwydd, heb feddwl am y canlyniadau, gan ei fod yn rhy ddinerth i wrthsefyll. Beth fydd hanes hwn yn y farn? Yr un fydd ei gymeriad yno eto. Mae y gwendid sydd yn ei galon yn awr yn sicr o ddylanwadu arno yn y dydd diweddaf: "Nid felly y bydd yr annuwiol, ond fel mân us yr hwn a chwal y gwynt ymaith. Am hyny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn." Ond am y dyn sydd yn ddigon cryf i wrthsefyll yn y dydd drwg, bydd hwn yn meddu ar nerth i sefyll ger bron Mab y dyn, pan y bydd dirgeloedd dynion yn cael eu gwneuthur yn amlwg.

3. *Sefyll ger bron Duw yn y nefoedd mewn gogoniant tragywyddol.* Y dymuniad uchaf sydd yn enaid y credadyn yw hiraeth am gael mwynhâd o Dduw; ac i gyfarfod â'r teimlad hwn sydd yn ei galon, mae y dadguddiad Dwyfol yn dangos mai dyna fydd y nefoedd am byth: enaid newynog pechadur am sancteiddrwydd yn cael ei lawn ddiwallu â mwynhâd o Dduw. "Dos dithau hyd y diwedd, canys gorphwysi, a sefi yn dy ran yn niwedd y dyddiau." Dyna fydd y credadyn yn y nefoedd; dyn wedi sefyll a gorphwys yn ei ran—yn y peth yr oedd ei enaid yn dyheu fwyaf am dano ar y ddaear. Mae y dyn hwn yn cael prawf i ryw raddau o hyn yn y fuchedd hon, ond yn cael hyny yma yn gymysgedig â llawer o ofidiau. Hyny o fwynhâd o Dduw y mae yn ei gael yma, mae efe yn ei gael er gwaethaf llygredigaeth ei galon a'i holl elynion. Ond yn y nefoedd bydd y saint oll yn offeiriaid ac yn freninoedd—yn orchfygwyr ar eu holl elynion.

Wrth derfynu, yr wyf am i bawb o honom synied mai amcan y diafol yn ceisio temtio dyn i bechu yw ei rwystro i gyrhaedd y dedwyddwch hwn. Yr ydym yn ofni nad yw pawb oll o'r un farn am hyn. Beth yw pechod yn ngolwg y dyn ieuanc yn awr—efe sydd yn dilyn y lliaws i wneuthur drwg, cymeryd enw Duw yn ofer, tori y Sabboth, dal i fyny arferion llygredig y genedl—anghredu yr efengyl? Yr olwg wrthunaf a gafodd efe ar y pethau hyn yw, mai pleserau pechod ydynt. Os ydynt yn bechod, mae yn cael pleser ynddynt hefyd, ac y mae yn eu cyflawni heb feddwl fod gan y diafol yr un amcan drwg yn ei demtiad. Beth bynag a all fod ei farn ef yn awr am

bechod, nid oes gan y diafol yr un amcan is yn ei waith yn ei hudo i bechu na damnio ei enaid; ac y mae ganddo allu mawr i gyrhaedd hyny, fel y bydd yn rhyfedd os siomir ef yn ei amcan. Eto er cymaint yw y gallu sydd yn ein herbyn i fyned i'r nefoedd, mae mwy o'n plaid. Pan welodd gwas Eliseus fod y ddinas lle y trigai ei feistr ynddi wedi ei hamgylchu gan lu a meirch a cherbydau y gelynion, gwaeddai allan gyda'r cyffro mwyaf, "Aha fy meistr! pa fodd y gwnawn?" pryd yr atebodd y prophwyd ef, "Nac ofna, canys amlach yw y rhai sydd gyda ni na'r rhai sydd gyda hwynt. Ac Eliseus a weddïodd, ac a ddywedodd, O Arglwydd, agor, attolwg, ei lygaid ef, fel y gwelo. A'r Arglwydd a agorodd lygaid y llanc, ac efe a edrychodd, ac wele y mynydd yn llawn meirch a cherbydau tanllyd o amgylch Eliseus." Onid oes achos i ni weddïo ar ran aml un, ar iddo gael agoriad llygaid i weled y gelynion yn gyntaf? Ac er, wedi ei oleuo, ei fod yn gweled y trueni sydd yn y galon, a gweled y byd drwg presennol, a holl nerth uffern yn ei erbyn, eto amlach yw y rhai sydd mwyach yn ei blaid. Mae yr holl saint yr un ochr ag ef; ac y mae holl angylion y nef yn cydymdeimlo â phechadur yn ei ymdrech am ei ddiogelwch tragywyddol; ac y mae Duw, yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glân, yn ei blaid. "Ac os yw Duw trosom, pwy a all fod i'n herbyn?" Ymnerthwn gan hyny yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef. Amen.

---

## UNDEB CREDINWYR A CHRIST.

*Gan y Parch.* WILLIAM RYLE DAVIES, *Arfon.*

UNDEB yw un o brif eiriau Gwyddoniaeth a Chrefydd. Os ceisir rhoddi deffiniad o wybodaeth, bydd i'r pellder tybiedig rhwng Gwyddoniaeth a Chrefydd ddiflanu ar unwaith; oblegid fe welir fod teyrnas natur a theyrnas gras wedi eu sylfaenu ar yr un egwyddorion cyffredinol.

Wrth wybodaeth yr ydym i olygu adnabyddiaeth o wrthddrychau a'u perthynasau. Yn awr, gan fod pob gwrthddrych yn meddu ei wahanol berthynasau, a phob perthynas yn golygu rhyw fath o Undeb, gwelir fod Undeb yn un o'r gwirioneddau mwyaf sylfaenol yn holl weithredoedd a bwriadau Duw.

Y syniad mwyaf goruchel am y bydysawd, yn anianyddol, yn ddiau, yw y syniad am dano fel un fodolaeth organaidd, ac nid casgliad o aneirif wrthddrychau i un gyfundrefn anorganaidd. Ac, o bosibl, mai y syniad mwyaf cywir am drefn Natur, Rhagluniaeth, a Phrynedigaeth y byd yw, fel rhanau o un Bwriad Anfeidrol yn hytrach nag fel tair cyfundrefn wahanol. Y mae yn sicr mai y rheswm am y fath *undod, unoliaeth,* ac *undeb* yw Undod y Duwdod. "Un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll" (Eph. iv. 6). Y mae delw Duw ar ei holl feddyliau a'i weithredoedd.

Gwaith yr Athronydd naturiol a moesol, gan hyny, yw chwilio allan ammodau egwyddorion cyntaf a deddfau mewn Mater a Meddwl. Yn y goleuni hwn, nid rhyfedd i Raoul Pictet, un o brif wyddonwyr y byd, ddyweyd: "fod gwyddoniaeth yn grefydd yr hon a all ac a ddylai ddwyn dyn i garu Duw, trwy droi meddwl dyn at berffeithrwydd meddwl Duw, yn yr egwyddorion Dwyfol cyntaf sydd yn llywodraethu y byd." Wedi sylwi ond ychydig ar waith Duw yn y greadigaeth, a chanfod mai *undeb* yw ammod bodolaeth pob gwrthddrych o'r llwchyn lleiaf hyd at y bydoedd penaf, yn gystal ag ammod pob trefn ymhob ffurf ar gymdeithas, a phob meddwl mewn cyfundrefnau, fel mewn iaith, buasem yn dysgwyl ymlaen llaw, cyn troi i Lyfr Crefydd, i *undeb* fod yn un o brif eiriau crefydd hefyd. Ac, wrth i ni agor y Bibl, gwelwn, ar unwaith, mai *undeb* yw un o'i brif feddyliau. Undeb y Dwyfol a'r dynol yw syniad sylfaenol pob crefydd. Yr unig ffordd i allu esbonio ffeithiau mawr ein byd ni yw, tybied undeb y naturiol a'r goruwchnaturiol mewn hanesiaeth. Gwaith y duwinydd, gan hyny, yw chwilio allan egwyddorion a deddfau neu berthynasau y gwahanol undebau a dybir, ac a ddadguddir gan Dduw yn ei Air. Ac y mae y rhai hyn yn lliosog, megys undeb y Personau Dwyfol,—undeb y Dwyfol a'r dynol yn ymgnawdoliad Mab Duw—undeb y saint â'r Tad a'r Mab,—undeb y saint â'u gilydd yn un corff," er yn llawer,—undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd," "undeb ffydd a gwybodaeth Mab Duw," &c.

Un o'r undebau hyn yw ein testun ni, sef,—*Undeb credinwyr â Christ.*

*Y credinwyr:* dynion yn credu. Ond credu pa beth? Yn yr oes hon, pryd y mae ysbryd ammheuaeth mor gyffredinol, dylai arweinwyr yr eglwys fod yn ofalus eu bod yn cydolygu pa bynciau sydd yn hanfodol i'w credu er mwyn bod yn aelodau o eglwys Crist. A yw y rhai hyn yn parhâu yr un nifer trwy yr oesoedd, ai ynte yn newid yn eu nifer yn ol amgylchiadau y byd? Er cydnabod anmherffeith-

rwydd mewn credo, yn gystal ag mewn moesau, onid oes rhyw wirioneddau amlwg, megys egwyddorion cyntaf Cristionogaeth, y rhaid i bawb eu credu, ymhob oes, mewn trefn i fod yn ddysgyblon i'r Arglwydd Iesu Grist? Ac onid yw anghredu un o athrawiaethau ein crefydd yn fwy niweidiol i'r dyn ei hun, ac i'r eglwys yn gyffredinol, hyd yn nôd na gwyriad oddiwrth un o reolau neu orchymynion ein crefydd?

Ond y mae ein testun yn tybied credu pob peth sydd yn angenrheidiol i fod mewn "undeb â Christ," ac yn cyfeirio ein meddwl at *ryfeddodau* yr undeb hwn.

Y mae *undeb credinwyr â Christ* yn undeb cyd-berthynasol; hyny yw, y mae yn tybied undeb Crist â'r credinwyr, ac undeb y credinwyr â'u gilydd ynddo Ef, fel Pen yr eglwys.

Ceisiwn sylwi ychydig ar yr undeb rhyfedd hwn mewn dwy wedd.

Yn gyntaf, *Natur yr undeb.*

Wrth sylwi er natur yr undeb, gwelwn ei fod yn (1) undeb arfaethol, (2) yn undeb gweithredol, ac (3) yn undeb cyfriniol.

Y mae *yn undeb arfaethol.* Y mae tuedd gref yn cael ei hamlygu y dyddiau hyn i ammheu y gwirionedd fod undeb tragywyddol trwy etholedigaeth rhwng y credinwyr â Christ. Y mae Mr. Dale o Birmingham, yn ei ddarlithoedd ar yr epistol at yr Ephesiaid, yn ymosod ar ein hathrawiaeth o etholedigaeth yn Nghrist; ac ymhlith pethau eraill dywed: "fod Calfiniaeth yn dysgu fod dewisiad Duw yn disgyn ar ddynion pan nad ydynt 'yn Nghrist,' ac yn eu dwyn i undeb âg Ef fel y gallont dderbyn maddeuant pechodau a bywyd tragywyddol.—fod Paul yn dysgu mai yr etholedigion yw y rhai hyny 'yn Nghrist,' ac, yn gymaint a'u bod ynddo Ef, eu bod yn myned i mewn i feddiant o'r bendithion tragywyddol hyny y rhai, er cyn sylfaeniad y byd, oeddynt yn mwriad Duw—yn ei arfaeth—i'w rhoddi i'r holl gristionogion.

"Yn unol â'r syniad Calfinaidd, y mae rhai dynion, y rhai ydynt hyd yn hyn 'yn blant digofaint megys eraill,' a defnyddio ymadrodd a gyfarfyddir ychydig ymlaen yn yr epistol, ymhlith yr 'etholedigion,' ac a ddeuant, gan hyny, rhyw ddydd yn blant i Dduw. Y mae y dull hwn o ymadrodd yn ddyeithr i feddwl Paul; yn ol Paul nid oes un dyn yn etholedig oddieithr yr hwn sydd *'yn Nghrist.'* Yr ydym oll ymhlith y rhai anetholedig hyd nes yr ydym ynddo Ef. Ond unwaith 'yn Nghrist,' yr ydym yn cael ein dal yn llifogydd bwriadau tragywyddol y cariad Dwyfol; yr ydym yn perthyn i'r hiliogaeth etholedig; y mae pobpeth yn eiddo i ni; yr ydym yn blant i Dduw, ac yn etifeddion ei ogoniant." (Lect. ii.)

Gwelir fod Mr. Dale yn benderfynol, yn y dyfyniad uchod, nad yw Paul yn dysgu yr athrawiaeth Galfinaidd o etholedigaeth gras o gwbl; fod y dull hwn o ymadrodd yn ddyeithr i'w feddwl! Yn ngwyneb ymosodiadau fel hyn, oni ddylem, ar brydiau, gerdded y terfynau megys—adolygu, gwylio, ac amddiffyn ein hathrawiaethau, neu ynte symud ymlaen, fel y dywedir wrthym, i'w had-drefnu neu i'w newid? Yn ol Mr. Dale, a llawer eraill, nid yw credinwyr "yn Nghrist" o gwbl, mewn unrhyw ystyr, cyn bod ynddo yn weithredol trwy grediniaeth. Pan y mae dyn yn credu, y mae yn dyfod i'r hiliogaeth etholedig; "yn cael ei ddal yn llifogydd bwriadau tragywyddol y cariad Dwyfol." Y mae llifogydd bwriadau tragywyddol y cariad Dwyfol, yn ol Mr. Dale, yn cynnwys yr holl fendithion tragywyddol oeddynt yn mwriad Duw i'w cyfranu mewn amser i'r holl gristionogion; ond, nid oedd y personau—y rhai oeddynt i dderbyn y bendithion—yn y bwriadau, eithr yn cael eu dal gan y llifogydd bwriadau tragywyddol hyny pan yn dyfod i Grist yn weithredol trwy gredu ynddo.

Ond yr ydym ni yn barnu fod y Bibl yn dysgu i ni gredu fod gan Dduw etholedigaeth bersonol, dragywyddol, ddiammodol, "yn Nghrist," er cyn seiliad y byd. "Yn Nghrist" yw yr agoriad i mewn i holl ddirgelion y prynedigaeth. Hwn yw ymadrodd nodweddiadol yr apostol Paul hefyd yn ei holl epistolau. Ond pwy a all aros mewn myfyrdod syml uwch ben ymadroddion fel y rhai canlynol, heb weled ynddynt "undeb y credinwyr â Christ" yn y bwriadau tragywyddol? "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist. Megys yr etholodd Efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd, fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius ger ei fron ef mewn cariad." "Yn yr hwn y'n dewiswyd hefyd, wedi ein rhagluniaethu yn ol arfaeth yr hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun." "Ië, pan oeddym feirw mewn camweddau, a'n cydfywhäodd ni gyda Christ, ac a'n cydgyfododd i gydeistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu" (Eph. i. 3, 4, 11; ii. 5, 6).

Gallem feddwl fod yn anmhosibl cyfyngu ystyr adnodau fel hyn i'r apostol a'i gydgredinwyr, ond eu bod i'w cymhwyso at y credinwyr yn gyffredinol "yn Nghrist." Yr ydym wedi ein bendithio â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd *yn Nghrist!* Yr ydym wedi ein hethol *ynddo ef* cyn seiliad y byd! Yr ydym wedi ein dewis *ynddo ef* yn ol yr arfaeth

dragywyddol! Yr ydym wedi ein cydfywhâu gyda Christ! Ië, yr ydym wedi ein cydgyfodi, ac wedi ein gosod i gydeistedd yn y nefolion leoedd yn Nghrist Iesu! Pa beth yn ychwaneg a allesid ddyweyd er gosod allan undeb tragywyddol y credinwyr â Christ? Y mae holl fendithion a gwrthddrychau y prynedigaeth yn mwriadau tragywyddol y cariad Dwyfol. Gan hyny, y mae ein hundeb fel credinwyr â Christ yn undeb arfaethol, tragywyddol, personol, diammodol, "yn ol arfaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun."

Y mae *yn undeb gweithredol.* Undeb arfaethol a thragywyddol y credinwyr â Christ yw y rheswm a'r achos fod credinwyr yn y byd; a chrediniaeth dynion, o'r ochr arall, yw cyfrwng undeb gweithredol dynion â Christ. O bosibl y gellid yn briodol edrych ar yr "undeb arfaethol" fel cynllun perffaith—*ideal*—o'r eglwys mewn meddwl, tra y gellid edrych ar yr "undeb gweithredol" fel cwblhâd y cynllun—yr eglwys yn dyfod yn ffaith yn yr ystyr weithredol. Er fod yr eglwys wedi ei hethol yn Nghrist er tragywyddoldeb, yn cael ei chynnrychioli gan Grist yn y cyfammod tragywyddol, ac wedi esgyn ynddo Ef i'r nefoedd, y mae aelodau yr eglwys, er hyny, yn blant digofaint wrth naturiaeth megys eraill, yn elynion i Dduw, ac ymhell oddiwrth Grist. Ond pan y mae Duw, dan oruchwyliaeth yr efengyl, yn anfon yr Ysbryd Glân i'w hargyhoeddi o bechod, ac i ddadguddio Crist iddynt fel Gwaredwr, eu denu ato, a'u dwyn i gredu ynddo, dygir hwynt trwy ras i undeb gweithredol â Christ, yn aelodau yn ei gorff dirgeledig ef, yn gyfranog o'i anian ef, hyny yw, i gael eu cyflawni ganddo ef â holl ddoniau, grasusau a bendithion y prynedigaeth. Dyma waith holl swyddau yr eglwys—"i adeilad corff Crist" (Eph. iv. 11, 12).

Y mae *yn undeb cyfriniol.* Wrth yr undeb hwn y golygwn yr undeb sydd rhwng y credinwyr, fel eglwys, â Christ fel eu Pen. Fel nad oes ond un Arglwydd, un Ysbryd, un Ddynoliaeth, felly hefyd un corff yw yr eglwys yr hon sydd yn cael ei gwneyd i fyny o lawer o gredinwyr. "Oblegid nyni yn llawer ydym un bara, ac un corff." Fel y mae y bara yn cael ei wneyd i fyny o lawer o ronynau, felly hefyd y mae yr eglwys yn cael ei gwneyd i fyny o lawer o gredinwyr, o aelodau, yn un corff; a'r corff hwn corff Crist ydyw. Y mae yr undeb rhyfedd hwn yn cael ei osod allan yn brydferth iawn yn y Bibl trwy lïaws o ffugyrau, megys undeb y pen a'r corff, undeb y gŵr a'r wraig, perthynas yr ymborth a'r corff, undeb y gangen a'r pren, undeb yr adeilad a'r sylfaen; ac y mae pob un o'r ffugyrau hyn yn gosod allan ryw wedd neillduol arno. Y mae Crist wedi myned i'r nefoedd: y mae ei gorff cyfriniol ar y ddaear. Un corff yw yr eglwys gyffredinol, yn anweledig a gweledig. Y mae yr eglwys yn anweledig mor bell ag y mae Crist ei Phen yn anweledig. Y mae yn anweledig mor bell ag y mae yn deyrnas sydd yn cael ei chynnal a'i dwyn ymlaen gan bersonau a dylanwadau anweledig. Y mae yn anweledig fel y mae yn gymdeithas gwir gredinwyr wedi eu gwasgaru megys ymhlith pob cenedl, ymhob oes, ac ymhob cyflwr a sefyllfa, y rhai, pa mor wasgaredig bynag o ran amser a lle, a ffurfiant un corff ysbrydol a chyfriniol. Ond y mae yr eglwys yn weledig mor bell ag y mae ei hanfod anweledig yn dibynu ar gyfryngau, moddion gosodedig gan Grist, er gwneyd ei hun yn oleuni y byd. Y mae undeb yr eglwys â Christ megys yn gorwedd dan bob gwahaniaeth sydd yn perthyn iddi. Nid yw y gweledig a'r anweledig ynddi, y gwahanol ranau, y gwahanol ffurf eglwysig, a'r gwahanol syniadau, &c., ond cynifer o esgyrn, cyhyrau, gewynau, gwythïenau, &c., trwy ba rai y mae yr holl gorff "wedi ei gymhwys gydgysylltu, trwy bob cymmal cynnaliaeth, yn ol y nerthol weithrediad yn mesur pob rhan, yn gwneuthur cynnydd y corff, i'w adeiladu ei hun mewn cariad" (Eph. iv. 16).

Y mae yn bwysig i ni gredu fod yr undeb hwn sydd rhwng y credinwyr â Christ yn un *gwirioneddol,*—mor sicr ag yw o gyfriniol; mor sylweddol ag yw o ysbrydol. Y mae nês perthynas rhwng yr enaid crediniol â Christ nag sydd rhwng yr enaid a'r corff dynol, er fod y profion gweledig o'r undeb olaf hwn yn fwy amlwg; oblegid gall angeu dori yr undeb olaf, tra "nad all nac angeu, nac einioes, nac angelion, na thywysogaethau, na meddiannau, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd" (Rhuf. viii. 38, 39). Yr ydym wedi myned yn un âg ef yn ein dymuniadau ac yn ein hamcanion; ïe, yr ydym wedi myned yn gydgyfranog âg ef yn ei ddyoddefiadau, yn ei swyddau, ac yn ei ogoniant. Fel y mae y gwaed yn treiddio trwy holl aelodau y corff dynol—yr un gwaed yn y pen ac yn yr holl aelodau—nes peri undod hollol yn y corff, felly hefyd y mae bywyd-waed yr efengyl, cariad Crist—yr un gwaed yn y Pen ac yn aelod mwyaf distadl—yn treiddio trwy holl aelodau yr eglwys fel y maent yn un, megys y mae y Tad yn y Mab, a'r Mab yn y Tad—yn "un ynom ni"—"fel y credo

y byd mai tydi a'm hanfonaist i." O ddirgelwch! O anrhydedd! "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw, i etifeddiaeth anllygredig, a dihalogedig, a diddiflanedig, ac yn nghadw yn y nefoedd i chwi, y rhai trwy allu Duw ydych gadwedig trwy ffydd i iachawdwriaeth, parod i'w dadguddio yn yr amser diweddaf" (1 Petr i. 3, 4, 5).

Yn ail, *Bendithion yr undeb.*

Y mae y rhan hon o'n testun mor ëang fel nas gallwn, ar hyn o bryd, anturio i wneyd unrhyw ddosbarthiad ar yr holl fendithion. Y mae y bendithion a dderbynia y credinwyr yn unigol, a'r eglwys yn gyffredinol, yn rhinwedd yr undeb hwn â Christ, yn aneirif, ac yn ymestyn dros byth yn eu heffeithiau. Yr ydym wedi ein bendithio "â *phob* bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist" (Eph. i. 3). Eto byddai yn dda i ni bob amser fod yn bur ymwybodol o berthynas yr undeb rhyfedd hwn â rhai bendithion neillduol i'r eglwys ar y ddaear.

Ymhlith y rhai hyny, ni a dybygem y gallem enwi yr hyn a ganlyn: *Undeb â Christ yw unig ammod arweiniad Dwyfol yr eglwys yn y byd.* Y mae gwahanol syniadau ac athrawiaethau o berthynas i arweiniad Dwyfol yr eglwys; ac, yn sicr, dylai y pwnc pwysig hwn gael mwy o le yn ein myfyrdod a'n dysgeidiaeth. Pa un yw y wir athrawiaeth ar y pwnc hwn? Yr ydym yn credu fod hanes yr eglwys yn profi ei Dwyfol arweiniad yn gystal a'i Dwyfol sylfaeniad. Ond pan y deuwn at y cwestiynau, Ymha bethau? ac ymha fodd? yr ydym ar unwaith yn dechre ymwahanu fel gwahanol ranau yr eglwys fawr! Eto, er yr holl wahaniaethau, cydnabyddir yn gyffredinol mai undeb â Christ sydd yn sicrhâu arweiniad Dwyfol yr eglwys ymha bethau ac ymha fodd bynag yr arweinir hi. Nodwn dri o'r pethau hyn yn fyr cyn terfynu, heb gymeryd arnom benderfynu *pa fodd* yr arweinir yr eglwys ynddynt.

1. *Undeb â Christ yw unig ammod arweiniad yr eglwys mewn athrawiaeth.* "Efe (yr Ysbryd Glân) a'ch tywys chwi (a ddengys y ffordd i chwi) i bob gwirionedd" ydoedd addewid yr Arglwydd Iesu Grist i'w ddysgyblion, ac i'r eglwys yn gyffredinol. Y mae hanes rhai o gynnadleddau mawr yr eglwys yn dangos yn eglur, er fod ynddynt ddigon o'r dynol i brofi rhyddid hollol, fod Duw, trwy ei Ysbryd, wedi arwain ei eglwys i olwg rhai o brif wirioneddau ein crefydd mewn modd amlwg iawn. Pa fantais bynag yw dysgeidiaeth—ac y mae yn fawr iawn—i grefydd, a pha fantais bynag all yr eglwys dderbyn oddiwrth berffeithrwydd trefniadau gwladol a safle uchel cymdeithas, y mae yn dda i ni feddwl fod diogelwch yr eglwys, yn yr ystyr hon, yn dibynu yn unig ar ei hundeb â Christ.

2. *Undeb â Christ yw unig ammod arweiniad yr eglwys i ddoniau, ac awdurdod yr eglwys.* Nid trefniadau manwl a rheolau caeth a all ddiogelu yr eglwys yn ei doniau a'i hawdurdod. Pell ydym oddiwrth feddwl ac awgrymu fod ymberffeithio mewn trefniadau yn gyfystyr a dirywio mewn ysbryd a chrefyddolrwydd. Ond er cydnabod gwir wasanaeth trefniadau a rheolau, y mae perygl iddynt gael gormod o le yn ein plith—y mae yn beryglus i'r moddion fyned â lle y dyben. Rhaid cydnabod mai ystâd isel ar bob ffurf o gymdeithas yw yr ystâd hono pryd y mae yn amlwg o herwydd amledd ei rheolau. Hyn ydoedd ystâd yr eglwys dan yr hen oruchwyliaeth. Y mae yr eglwys dan oruchwyliaeth yr efengyl yn meddu nodwedd wahanol—amddifadrwydd o reolau caethion yw un o'i phrif nodweddion. Rhaid cydnabod hefyd mai pan y bydd ysbryd deddfu yn gryf yn yr eglwys y bydd dynion yn fwyaf tueddol i ymddiried yn eu gallu a'u medr eu hunain, ac i ammheu arweiniad Dwyfol yr eglwys. Nis gall unrhyw drefniadau ddiogelu yr eglwys rhag camgymeriadau a chyfeiliornadau, ac Iesu Grist yn unig a all anfon dynion llawn o ddoniau i bregethu yr efengyl, ac i lanw holl gylchoedd crefydd. A byddai yn dda i ni gofio mai i undeb yr eglwys â Christ yn unig, ac nid i amledd a manylrwydd ei rheolau, y mae hyn i'w briodoli.

3. *Undeb â Christ yw unig ammod arweiniad yr eglwys yn ei llywodraethiad a'i dysgyblaeth.* Peth cyffredin y dyddiau hyn yw clywed fod barn yr eglwys neu y cyfundeb yn myned y ffordd hon, tra y mae y cyffredinolrwydd yn myned ffordd arall. Y mae hyn, yn sicr, yn taflu ammheuaeth ar arweiniad Dwyfol yr eglwys fel eglwys, ac yn ogwyddiad i gyfeiliornad dinystriol iawn. Ac yn enwedig y mae hyn yn dyfod i'r golwg gyda dysgyblaeth yr eglwys. Mewn amgylchiadau o weinyddiad ceryddon, yn rhy aml ystyrir hyn fel cosb, ar y goreu, ac ni chydnabyddir ac ni ddysgwylir arweiniad Dwyfol o gwbl.

Y mae y materion hyn, yn sicr, yn teilyngu mwy o sylw yr eglwys, modd y byddo iddi sylweddoli ei hundeb â Christ fel "mur o dân o'i hamgylch" er ei diogelwch, ac "yn ogoniant yn ei chanol" (Zech. ii. 5). Profi a wnelom i barhâu, fel credinwyr yn unigol, ac fel eglwys yn gyffredinol, ffrwythau amlwg undeb â'r Pen mawr—yr Arglwydd Iesu Grist.

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD X.

*Bob.*

AETH misoedd heibio. Yr oedd gwaith y Caeau Cochion yn llwyddo o dan oruchwyliaeth Abraham, yr hwn oedd erbyn hyn wedi dwyn y gwaith i drefn. Tra yr oedd y gost yn llai, yr oedd yr elw yn llawer mwy na phan oedd y "Lancy," fel y gelwid ef, yn oruchwyliwr, a derbyniai y gweithwyr gyflog nad oedd ganddynt le i gwyno o'i herwydd. Erbyn hyn ni chlywid yn ein tŷ ni y geiriau anhyfryd "gorthrwm" ac "anghyfiawnder" yn cael son am danynt; ac yr oedd Bob yn hollol foddlawn ar ei ennillion. Ymhen ychydig wythnosau, talodd bob dimai o'r ddyled yr aethai fy mam iddi yn ystod ei garchariad; ac yr oedd anghen a thlodi wedi eu halltudio o'n bwthyn. Ond a oedd fy mam yn hapus? Yr oedd cyflog Bob, fel y dywedais, yn fwy na digon i gyfarfod ein gofynion teuluaidd, ac nid oedd fy mam mwyach yn gorfod pendroni pa fodd i allu talu ei ffordd. I mi yr oedd yn ymddangos fod Rhagluniaeth yn gwenu arnom, a bod ein profedigaethau wedi ein llwyr adael. Mae yn wir fod un peth chwerw bob amser yn cael lle yn ein hymwybyddiaeth, er na byddai un o honom byth yn son gair am dano. Ond yr oedd bellach yn hen ystori, ac nid oedd yn cael ei gymeryd i'r cyfrif oddieithr fel y pechod gwreiddiol, rhywbeth nad allem ymysgwyd oddiwrtho. Càn belled ag y gallwn i ganfod, nid oedd y carchar wedi effeithio nemawr ar ysbryd Bob y naill ffordd na'r llall. Yn ei oriau hamddenol darllenai yn ddidòr, a dywedai fy mam y byddai iddo yn sicr andwyo ei olwg. Deuai hefyd i'r capel yn gyson fel o'r blaen; ond er cael ei gymhell yn daer, gwrthododd ailymgymeryd â'i ddosbarth yn yr Ysgol Sul. Rhaid i mi addef un cyfnewidiad arall ynddo, sef na byddai yn awr yn darllen y Bibl yn ein gwyddfod. Parodd hyn ofid mawr i fy mam, gan yr ofnai hi am amser nad oedd efe yn ei ddarllen o gwbl. Yn gyffredin eisteddai Bob i fyny am rai oriau wedi i fy mam a minnau fyned i'n gwely; ond gofalai fy mam, wedi i'r ddyfais gynnyg ei hun i'w meddwl, am osod y Bibl bob nos mewn sefyllfa neillduol ar y bwrdd yn ymyl y ffenestr, fel y gallai hi wybod i sicrwydd bore dranoeth a oedd Bob wedi bod yn ymwneyd rhywbeth âg ef. Cymaint cysur a gaffai hi wrth ganfod yn y bore fod y Bibl wedi ei symud, fel yr aeth yn arferiad ganddi i wybod bob nos safle fanwl y Bibl ar y bwrdd. Ar gyfer y cyfnewidiad hwn er gwaeth ynddo, tybiwn fod Bob yn fwy tyner a charuaidd tuag at fy mam, yn fwy parchus o honi, ac yn cydddwyn yn fwy â'i rhagfarnau. Ond a oedd fy mam yn hapus? Yr oeddwn yn sicr nad oedd. Ni ddychwelodd y gwrid i'w hwyneb, ac nid ymadawodd y marciau duon o dan ei llygaid. Mewn ystod tri mis tybiwn ei bod wedi heneiddio ddeng mlynedd; ac eto yr wyf yn credu y buasai ei gwrid yn dychwelyd—y düwch dan ei llygaid yn ymadael, pe buasai Bob ddim ond yn dyweyd, "Mam, yr wyf yn teimlo yn anesmwyth iawn, ac yr wyf yn bwriadu cynnyg fy hun i'r seiat nos Sul nesaf." Ond ni ddywedodd efe hyny. Mynych y llefarai fy mam am y perygl i brofedigaethau nid yn unig ein gadael yn yr unfan, ond ein pellhâu oddiwrth Dduw, yn lle ein dwyn yn fwy hynaws ein hysbryd, ac yn fwy cysegredig ac ymroddedig i grefydd. Ac nid oedd Bob heb ddeall *drift* ei sylwadau. Ond gan na chymerai efe arno fod a wnelo y sylwadau ddim âg ef yn bersonol —un noswaith rhoddodd fy mam heibio ei dammeg, gan wasgu arno yn ddifrifol ei ddyledswydd o ail ymgymeryd â'r broffes grefyddol; ac atebodd yntau hi mor agos ag y gallaf gofio, yn y geiriau hyn,—

"Gwyddoch nad fy mai i ydyw nad ydwyf yn proffesu; nid myfi daflodd ymaith y broffes, ond yr eglwys a'i cymerodd hi oddiarnaf. Hyd yr wyf fi yn gwybod, nid oes un gwahaniaeth ynof yn awr rhagor pan oeddwn yn proffesu ond yn unig fy mod wedi bod yn y carchar; ac nid ydyw hyny, gallwn feddwl, yn ychwanegu at fy nghymhwysder i fod yn broffeswr. A phe bawn yn cynnyg fy hun i'r eglwys, y cwestiwn cyntaf a ofynid i mi—neu o leiaf a ddylid ei ofyn i mi, a fyddai—a ydwyf wedi edifarhâu am y bai o herwydd yr hwn y'm diarddelwyd; a byddai raid i minnau ateb nad ydwyf, ac nad allaf byth edifarhâu am dano; a byddai raid i'r eglwys, neu i mi, edrych fel ——. Yr eglwys yn unig sydd gyfrifol am nad ydwyf yn proffesu—os bod â fy enw ar lyfr y seiat ydyw proffesu. Ond yr wyf fi yn credu fod proffes uwch na hono yn bod, a chyffes ffydd llawer rhagorach. Mae dynion yn bod—nid wyf am ddyweyd fy mod i yn un o honynt, rhag i chwi ddyweyd, fel y dywedasoch o'r blaen, fy mod yn hunan-gyfiawn—ond y mae dynion yn bod, meddaf, ag mai eu hamcan penaf ydyw cael gwybod y gwirionedd gan nad o ba gyfeiriad y daw; dynion sydd yn wastadol yn ymbalfalu am

duw y gwirionedd, ac a wyddant beth dyw colli nosweithiau o gysgu mewn ysgwyliad poenus ac awyddus am y oleuni. Gwyddant yn dda beth ydyw erbyn archollion dyfnion gan ammheuon c anghrediniaeth, ac eto ni roddant i fyny hwilio am yr eli sydd i'w iachâu. Meibon Duw y galwaf fi y dynion hyn, er fod hai o honynt â'u henwau heb fod ar lyfr unrhyw seiat. Mae genyf barch dwfn, fel gwyddoch, i amryw o aelodau yr eglwys el dynion cywir, egwyddorol, duwiolrydig, a zelog yn eu ffordd eu hunain dros ldysgyblaeth eglwysig. Ond ymddengys mi yn beth rhyfedd nad allant ganfod ond un dosbarth o bechodau. Ai Robert Lewis a William y glo ydynt yr unig troseddwyr? A ellwch chwi esbonio i mi paham y mae William wedi ei ddysgyblu aweroedd o weithiau, a John Llwyd heb od erioed o dan gerydd? Am a wn i nid oes neb yn ammheu diniweidrwydd William y glo druan, ac mai'r pechod parod i'w amgylchu ydyw ei fod yn anghofio nad ydyw ei ben yn ddigon cryf i ddal effeithiau mwy na dau wydriad o gwrw, a'i fod yn dueddol, ar ol myned dros y marc, i syrthio ar ei gefn neu yn wysg ei ochr; ac yn hyn nid all ac ni fyn neb ei gyfiawnhâu. Ond, attolwg, oes yna yr un reol i alw dyn i gyfrif am ei gybydd-dod a'i grintachrwydd? A ydyw rhai dynion i gael myned ymlaen i hau hadau anghydfod, i erlid eu brodyr a chamliwio eu cymeriadau—i gnoi fel corgwn sodlau eu cydaelodau—ac i fyw yn wastadol ar genfigen a chwerwder ysbryd —ar ladd a blingo pregethwyr a blaenoriaid *—am eu bod yn bregethwyr a blaenoriaid?* 'Yr hyn yr wyt ar fedr ei wneuthur gwna ar frys,' meddai Iesu Grist wrth Judas; ac fe ufuddhaodd Judas i'r gorchymyn. Ond ni fedr y bobl hyn ddyfod i fyny hyd yn nod â safon Judas. Maent bob dydd yn gwerthu eu Meistr am ddeg ar hugain arian yn arafaidd, pwyllog, heb un brys arnynt, ac heb un argoel, ysywaeth, y bydd iddynt yn fuan ymgrogi a myned i'w lle eu lle eu hunain. Ac eto ymddengys nad oes un reol ddysgyblaethol ar gyfer y dynionach hyn. Ai dysgybliaeth i William y glo a minnau yn unig sydd gan yr eglwys? Pan gymerodd William ormod o ddiod, yr oedd pob llythyren yn y rheolau dysgyblaethol yn llefain yn uchel am ei ddiarddel, er ei fod, fel y dywedai Wil Bryan, yn rhoddi yr holl fai ar Satan; a phan ddarfu i minnau osod yr hen Sowldiwr ar ei gefn pan welais ef yn maeddu fy mrawd yn greulawn, yr oedd ysbryd a llythyren y rheolau yn galw am fy niarddel innau. *Nonsense* y galwaf fi beth fel hyn. Y dydd mawr a ddaw—y dydd pryd y gwneir yn amlwg ddirgelion ein calonau, pe gorfyddid fi i sefyll naill ai yn esgidiau William y glo neu yr eiddo John Llwyd, mi wn esgidiau pwy a ddewiswn. Gwyddoch fy mod cystal dirwestwr â neb sydd yn yr eglwys, ac yr wyf yn meddwl fy mod yn gofidio cymaint ag undyn am y trueni a achosir gan anghymedroldeb. Ond nid Duw dirwestiaeth yn unig ydyw ein Duw ni, tybed? Onid ydyw efe yn Dduw cyfiawnder, cariad, boneddigeiddrwydd, a lledneisrwydd? Mae y Testament Newydd yn fy nysgu i ei fod ac yn arbenig felly. Ond pa bryd y gwelsoch chwi Abel Hughes—pob parch i Abel—yr wyf yn credu ei fod yn gristion gloew—ond pryd y gwelsoch chwi ef yn codi ar ei draed i ofyn am arwydd i ddiarddel un am ei gybydddod, ei galongaledwch a'i wynebgaledwch? Pwy welsoch chwi yn cael ei dori allan am yru pobl yn mhenau eu gilydd? am erlid ei well? neu am fryntni ei dafod? Neb, mi wn. Nid am nad oes rhai yn euog o bechodau felly chwi wyddoch cystal a minnau. Gwyn fyd na f'ai Paul yn rhoi i mi fenthyg ei awdurdod â'r fantell hono a adawodd efe ar ol yn Troas! Chwi gaech weled yn fuan fod rhywrai heblaw William y glo a minnau i gael eu traddodi i Satan!"

Gwrandawai fy mam arno yn hollol dawel a hunanfeddiannol; a synwn yn fawr at hyny; oblegid cofiwn yr amser pryd na oddefasai hi iddo fyned ymlaen yn y ffordd hon am hanner mynyd heb ymosod arno yn hyawdl a diarbed. Yn wir, pe meiddiasai Bob siarad fel y gwnaeth y tro hwn ryw hanner blwyddyn cyn hyny, mae yn ammheus genyf, er ei fod yn ddyn cryf, na fuasai fy mam yn rhoi bonclust iddo. Ond yn awr gwrandawai yn astud ar bob gair a ddywedai efe; a phe buasai hi yn gwrandaw ar ei eiriau olaf ar ei wely angeu ni allasai ei hwyneb wisgo mwy o brudd-der a gofid. Ymddangosai i mi fel un oedd wedi gollwng ei gafael o'i gobaith olaf, ac fel un wedi ei thaflu i lawr gan siomedigaeth yn ceisio edrych yn dawel ac ymroddol i wyneb tynged. Nid oeddwn ond hogyn; ond er yn blentyn yr oedd fy mam wedi fy nhrwytho mewn syniadau crefyddol a thermau duwinyddol; ac yr wyf yn meddwl fy mod y pryd hwnw, pan draddododd Bob ei syniadau, mor alluog ag ydwyf yn awr i sylweddoli dwysder siomedigaeth a phrudd-der fy mam. Yr oeddwn yn gallu dilyn a deall ei geiriau a'i theimladau pan atebodd hi Bob yn yr ymadroddion hyn:

"Wel, fy machgen, ddaru i mi erioed ddysgwyl cael byw i dy glywed di yn siarad fel ene; ac eto rhaid i mi gyfadde y mod i wedi bod yn ofni mai i hyn y doi hi. Yr ydw i wedi treio gwrando arnat ti yn astud rhag ofn y mod i yn dy gamddeall a dy gamfarnu di. Fedra i byth ddeyd wrthat ti y nheimlade pan gest di

dy gymyd i'r *jail*—ar gam, mi wn—diolch am hyny. Ond ganol nos lawer gwaith, pan oedd pawb arall yn cysgu yn dawel, pan fyddwn i yn meddwl am danat ti, yr oeddwn i yn ofni i nghalon i dori yn ddwy cyn y bore; ac yr ydw i yn meddwl, oni b'ai y mod i yn ceisio credu y pryd hwnw mai rhwbeth yn llaw yr Arglwydd oedd dy garchariad i dy ddwyn yn ol, mai wedi tori nghalon y buaswn i. Ond y mae dy eirie di heno wedi fy siomi yn fawr, a fy mrifo yn arw sôn. Mae yn amlwg fod dy ysbryd di wedi mynd i dir pell, ac y mae arnaf ofn mawr i ti gael dy adael i ti dy hun. Mi fydde yn anodd gen i gredu nad ydi Ysbryd Duw yn ymliw â dy feddwl di. Ond cofia, fy machgen, fod perygl ei dristâu Ef, a bod terfyn ar amynedd hyd yn nôd y Brenin Mawr. Welest di rioed y fath lun fydde arnat ti bydae O yn deyd 'Gad iddo.' Roeddat ti yn son am ryw bobol mai'u hamcan pena nhw ydi cael gwybod y gwirionedd; ac yr oeddwn i yn dallt ar dy siarad di dy fod di yn rhoi dy hun yn 'u bwndal nhw. Ond pa wirionedd wyt ti yn 'i feddwl? Os y gwirionedd am Dduw, am bechadur, ac am dragwydd-oldeb wyt ti'n feddwl, mi wn na chei di mo hwnw ond yn Ngair Duw ei hun. A dyma mae hwnw yn 'i ddeyd, 'Os aroswch chwi yn fy ngair i, dysgyblion i mi ydych yn wir, a chwi a gewch wybod y gwir-ionedd. Dirgelwch yr Arglwydd sydd gyda y rhai a'i hofnant Ef.' A mae'r un gair yn deyd,' 'Y neb nid yw gyda mi yn fy erbyn y mae; a'r hwn nid yw yn casglu gyda mi sydd yn gwasgaru. Canys pwy bynag a fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau pan ddêl yn ngogoniant ei Dad gyda'r angylion sanctaidd.' Pwy ydi'r bobol wyt ti yn son am danyn nhw sydd yn colli 'u cysgu i chwilio am y gwirionedd, a'u henwau heb fod ar lyfr y seiat? Mi faswn i yn licio gwbod ple mae nhw, achos weles i neb erioed a llawer o raen arno os na fyddai yn seiat. Dydw i ddim yn dy ddallt os wyt ti yn dallt dy hun. Waeth i mi ddeyd y meddwl yn blaun i ti, yr ydw i 'n credu mae rhyw syniede wyt ti wedi 'u cael yn yr hen lyfre Sasneg ene sydd wedi moidro dy ben di. Roedd yn ddrwg gen i dy glywed yn siarad iaith y gwrthgiliwr pan oeddat ti yn pwyntio at ffaeledde proffes-wyr. Roeddwn i yn meddwl dy fod di yn rhy gall i geisio llechu yn nghysgod pethe felly; ac er y rhaid i mi gyfadde fod llawer o wir yn y pethe oeddat ti 'n ddeyd, fe ŵyr dy gydwybod na thâl stori fel ene ddim o flaen y frawdle. Ymgroesa, ym-groesa, machgen i! Does gen i ddim eisieu brifo dy deimlade di, a fynwn i am y byd ddeyd dim i dy bellhâu di: ond yn wir mi fase yn dda gen i glywed mwy o dim y publican ynot ti. Yr ydw ine yn cael credu am danat ti nad oes dim gwahan-iaeth yn dy gyflwr di yrŵan rhagor pan oeddat ti yn proffesu; a fedra i ddim deyd i ti mor dda ydi gen i dy fod di 'n dal i ddilyn y moddion yn gyson ac nad wyt ti wedi ymollwng i bechodau. Ond mi ddymunwn i ti gofio, fy machgen, pan ddêl y gawod y bydd y gwlaw yn dryach o dan y bargod nag yn unman. Does yna yr un *lander* ar dŷ Dduw; ac os na fyddi di yn y tŷ mi fase bron yn well i ti fod ymhell oddiwrtho. Mae boddi yn ymyl yr arch yn chwerwach nag yn unman. Dy fater di dy hun ydi o, fy machgen. Mewn ffordd o siarad dydi o ddim byd i mi, ac eto, y mae o yn rhywbeth gen i—fel y bydd Mr. Hughes, Llangollen, yn deyd. Fydda i ddim yma yn hir i ti—mae rhywbeth yn deyd felly wrtha i. Rhwng y naill beth a'r llall yr ydw i yn teimlo y mod i yn nesâu i ryw wlad; ac wrth i mi blymio yr ydw i yn cael fod y gwrhyde yn mynd yn llai bob dydd. Ond fe äi fy llong i i'r làn yn sgafnach o lawer bydawn i yn gallu bwrw i'r môr y pryder am danat ti. Rhwng yr Euroclydon yma a'r Euroclydon arall, yr ydw i wedi fy nhosio yn o sownd yn ddiweddar; ond fe welodd y Llywodraethwr mawr yn dda ddangos i mi gilfach a glàn iddi fwy nag unweth, ac yr ydw i wedi cymeryd yr awgrym nad ydi fy ened i i gael ei golli. Does gen i ddim awydd am gael byw i fynd yn hen, achos mi wn na fyddai i ddim ond llyffethair arnoch chi'ch dau. Er nad ydyw fy nhŷ i felly gyda Duw—mi wyddoch at bwy yr ydw i yn cyfeirio—a gobeithio yr ymwêl Duw â'i ened o—eto cyfammod tragywyddol a wnaeth Efe â mi. Mae Rhys, yr ydw i yn credu, mewn lle y caiff ei gorff â'i ened o chware teg; a bydawn i ddim ond dy weled dithe, Bob, fel y buost di, ni fydde waeth gen i pa mor can gynted y doi'r alwad. Mae'r byd tragwyddol yn ddiarth iawn i mi, ac wn i ddim pa gyfnewidiad y bydd raid i mi fynd drwyddo cyn mynd iddo; ond yrŵan yr ydw i yn methu dallt sut y medra i fod yn hapus, hyd yn nôd yn y nefoedd, heb feddwl y mod wedi gadael fy nau fachgen yn zelog gyda'r hen Fethod-istiaid anwyl!"

Sychodd fy mam ei llygaid gyda'i ffedog, ac yn ol ei hen arfer, dechreuodd ei phletio. Pan gyfeiriodd hi at ei hymadawiad, yr hyn na chlywsom hi erioed o'r blaen yn gwneyd, disgynai ei geiriau ar fy nghlust, nid fel cwynion un yn dyoddef gan y pruddglwyf, ond fel ymadroddion proph-wyd Duw yn adrodd gwirionedd, a neid-iodd fy nghalon i fy ngwddf. Edrychais

3ob, a chanfyddwn fod ei lygaid yn bion. Fel y dywedais o'r blaen, yr i Bob yn un anhawdd iawn ei symud i iddo unwaith ffurfio ei syniadau; ond oedd ei galon yn hynod o dyner, â'i ad at fy mam yn angerddol. Pe sai anghen, buasai yn marw drosti unw ddydd. Gwelwn fod ei holl enaid i ei gynhyrfu, a'i fod yn gorfod ymegnïo wodraethu ei deimladau, a chredwn ei ef a minnau ar y pryd, yn teimlo yn 'elyb i'r dysgyblion hyny gynt pan wedodd Paul wrthynt na chaent weled ryneb ef mwyach. Wedi bod yn ddysam enyd, ebe Bob.—

'Yr wyf yn methu deall, mam, paham haid i chwi bryderu cymaint yn fy ylch i, ac yn enwedig paham y rhaid wi son am farw ac am ein gadael ni. ydych yn 'llyffethair' arnaf fi o gwbl; hra bydd genyf nerth ac iechyd, fy leser penaf fydd eich cadw yn hapus a ryder. Paham yr ydych yn crigo? ych chwi yn gweled rhyw ddirywiad yn nghymeriad? Pa wahaniaeth a wnai ay yn fy nghyflwr pe codai yr eglwys lwylaw, a phe ysgrifenai Abel Hughes enw ar y llyfr? Mi wn na ddymunech i ragrithio; a phe baech yn dymuno, chwi ddoch na wnawn mo hyny byth. Mae gymaint gofid i mi, yr wyf yn sicr, ag yw i chwithau, nad allwn weled lygad llygad. Ond yr wyf yn dyweyd eto, a wch chwithau feddwl, os mynwch, fy d yn hunangyfiawn, fy mod yn casâu grith â chas perffaith. Ni fedraf ddyyd fy mod yn teimlo fel hyn ac fel hyn, ninnau heb deimlo felly. Gwn gystal â withau mai braint i bob dyn ydyw proffesu crefydd; ond y mae yr egys wedi fy nifeddiannu o honi; a pha p sydd genyf fi! Hwyrach y dywedh fy mod wedi troseddu? Dywedaf nau naddo. Oblegid ni chredaf byth fod fydd yn myned yn groes i deimladau eu y natur ddynol. Pe gwelwn i bore y y cryf yn maeddu y gwan, a theimlo mod yn gryfach na'r cryf, gwnawn lo ddangos ei sodlau i'r haul y foment no, ac awn at fy ngwaith gyda chydbod dawel fy mod wedi gwneyd fy ledswydd. Ac heblaw hyny rhaid i wi gyfaddef y bydd y nefoedd a'i phoblaeth yn deneu iawn os nad oes neb i aed iddi ond y rhai sydd â'u henwau lyfr seiat y Methodistiaid. Gwn nad ych mor gul eich meddwl â thybied ny."

"Wnei di ateb un cwestiwn i mi?" e fy mam.

"Gwnâf gant, os medraf," ebe Bob.

"Purion," ebe fy mam, "os atebi di lau neu dri i moddloni, mi deimlaf yn rffaith dawel. Wyt ti yn gweld dy hun yn bechadur andwyol a diobaith dragwyddol o dy ran dy hun? Wyt ti yn gweled yr Arglwydd Iesu Grist yn Geidwad digonol a chymhwys ar dy gyfer? Wyt ti yn teimlo dy fod ti yn ymorphwys yn gyfangwbl ar ei haeddiant Ef am dy fywyd? Ac a ydyw dy gydwybod di yn dawel dy fod di, fel yr wyt ti, ar lwybr dyledswydd?"

Canfyddwn ar wyneb Bob ei fod wedi ei wasgu i'r gongl. Bu am beth amser heb ateb, a thremiai fy mam yn ei lygaid fel pe buasai hi yn benderfynol ei droi dugwrthwyneb-allan. Yn y man ebe fe,—

"Chwi a wyddoch, mam, mai ychydig hyd yn nôd o broffeswyr a fedrant ateb cwestiynau fel yna yn groew a ddiammwys."

"Bewt ti'n feddwl wrth 'ddiammwys?'" ebe fy mam. "Paid a threio cuddio dy feddwl mewn geiriau nad ydw i yn 'u deall nhw?"

"Wel," ebe Bob "ni a roddwn y diammwys o'r neilldu. Yr wyf yn dywedyd eto mai ychydig hyd yn nôd o grefyddwyr gloew a fedrant ateb eich cwestiynau yn groew a dios. Ac yr wyf yn credu mai prin yr ydych yn dysgwyl i minnau eu hateb yn gadarnhäol. Os gallaf wneyd hyny wedi cyrhaedd eich oedran chwi, byddaf ddiolchgar. Nid oes genyf eisieu cuddio fy meddwl oddiwrthych, a rhaid i mi gyfaddef mai yn y tywyllwch yr ydwyf hyd yn hyn, ac mai teimlo fy ffordd yr ydwyf. Gallaf ddyweyd yn onest fy mod yn dal i ymbalfalu; ond y mae gwirioneddau ysbrydol fel pe byddent yn dianc oddiwrthyf. Yr wyf yn eich sicrhâu mai gwaedd fy enaid ydyw—'Goleuni, goleuni, ychwaneg o oleuni!' Ar adegau byddaf yn meddwl fy mod yn ei gael, a hyny oddiuchod; ond nid ydyw ond fel fflachiad mellten, ac y mae yn fy ngadael mewn mwy o dywyllwch. Ar adegau eraill byddaf yn cael math arall o oleuni, yr hwn sydd oddi-isod; ac wrth ei ddilyn a chael fy hunan mewn siglenydd a chorsydd, byddaf yn deall mai canwyll y corff ydyw. Beth sydd i mi i'w wneyd? Nid wyf yn foddlawn i gau fy llygaid ac eistedd yn ddiobaith yn y fagddu, oblegid pe gwnawn hyny byddwn yn gyffelyb i'r diafol am yr hwn y dywed Goronwy Owen,

'Câr lechu 'n y fagddu fawr.'

Nid wyf fi yn caru y tywyllwch; yr wyf yn ceisio rhwbio fy llygaid—codi ar flaenau fy nhraed—ac estyn fy ngwddf i edrych am ryw argoel o'r bore; ond ni welaf ddim ond y nos yn lledu ei chynfasau duon ar wely dierchwyn y gwirionedd. Yr oeddwn wedi penderfynu na soniwn byth wrthych am ystâd fy meddwl, gan y gwyddwn

na wnai hyny ond eich poeni; ac yr wyf eisoes yn edifarhâu na fuaswn wedi cadw y cyfan i mi fy hun; ac eto nis gallwn beidio gan i chwi fy nghwestiyno. Gwn nad ydych yn fy neall. I chwi sydd bob amser yn byw yn nghanol y goleuni, mae fy ngeiriau yn ynfyd; ond yr wyf yn eich sicrhâu mai geiriau gwirionedd a sobrwydd ydynt. Yr wyf yn deall ar eich siarad er ys amser eich bod yn credu fy mod yn ddi-fater ynghylch pethau crefydd; ond yr Hollwybodol a ŵyr nad ydwyf felly. Ac eto y mae y dyfodol yn dywyllwch eithaf i mi. Yr wyf yn sicr fod goleuni yn bod tu draw yn rhywle: mae tewder y ty-wyllwch yn fy sicrhâu o hyny, heblaw fy mod yn eich gweled chwi yn ei fwynhâu bob amser. Paham y mae yn cael ei gadw oddiwrthyf fi, nis gwn. Yr wyf bob dydd yn myned i lawr i dywyllwch y pwll glo, ond y mae genyf fy lamp yno; ond pan wyf yn ceisio cloddio yn myd y meddwl a'r ysbryd, mae y tywyllwch lawn cymaint, a fy lamp yn diffodd. Pa beth ydwyf wedi ei gyflawni mwy na rhyw bechadur arall i rwystro i'r wawr dori ar fy enaid? Hwyrach y gallwch chwi ddy-weyd wrthyf. Yr wyf yn teimlo nad ydwyf fel pobl eraill. Yr wyf yn gwenu ac yn chwerthin er mwyn bod yn debyg i fy nghyfoedion; ond y mae fy nghalon bob amser yn brudd, a fy enaid yn wylo ac yn gruddfan. A pha fodd y gallaf fi chwerthin yn galonog pan nad wn y fynyd y bydd darn o löyn yn syrthio arnaf, ac yn fy suddo i dywyllwch dyfnach na'r hwn yr wyf ynddo yn barhâus! Hwyrach y dywedwch chwi wrthyf am weddio; ond onid ydyw dyheuadau fy enaid yn weddi barhâus? A phan osodwyf fy nymuniadau mewn geiriau maent yn dyfod yn ol ataf gan ddywedyd wrthyf, *No reply*. Ys truan o ddyn ydwyf fi!"

Ceisiai fy mam edrych yn siriol, ac ebe hi, "Wel, y machgen anwyl i, mae arna i ofn fod y falencoli arnat ti. Roeddwn i bob amser yn meddwl nad oedd neb yn cael ei drwblo gan hono ond hen bregeth-wyr; a chlywes i ddim son fod hi yn trwblo neb o honyn hwythe er amser yr hen Feicel Roberts, Pwllheli. Iselder ysbryd sydd arnat ti, y machgen i; rhaid i ti gael tipyn o ffisig a newid yr aer, does dim byd gwell mae nhw'n deyd. Cana dipyn, y ngwas i, mi dy helpia i di," a dechreuodd fy mam ganu oreu y gallai hi—

"O anghrediniaeth mawr ei rym,
Ti roddaist imi glwy'!
Ond yn dy wyneb credu wnaf
Fod doniau 'r nef yn fwy."

O'r fynyd hono allan newidiodd fy mam ei thôn a'i hymddygiad tuag at Bob. Siaradai yn gysurus a chalonogol, oed wnai Bob ond ysgwyd ei ben, cystal dyweyd nad oedd hi yn ei ddeall ef.

Yr wyf yn meddwl mai ymhen rhyw bythefnos ar ol yr ymgom uchod, yr oedd-wn yn dychwelyd o'r wlad, wedi bod yn hebrwng *parcel* o'r siop—oblegid y misoedd cyntaf y bum gydag Abel Hughes, fy ngwaith gan mwyaf oedd negeseua. Yr oedd y noswaith yn hyfryd, ac yr oeddwn yn gynnefin iawn â'r ffordd—yn adnabod pob tŷ, gwrych, gwàl, llidiart a chamfa am filldir. Tybiwn fod pob coeden yn dyweyd "Nos dawch" wrthyf, ac yn cydnabod ei bod yn fy nghofio yn dda oddiar yr adeg yr arferai Wil Bryan a minnau fyned y ffordd hono i hel nythod adar ac i gasglu cnau. Mor gynnar a'r noswaith hono yr oeddwn, yr wyf yn meddwl, yn dipyn o freuddwydiwr, ac yn gallu mwynhâu y golygfeydd rhamantus a'r tawelwch dwfn. Er pan wyf yn cofio yr wyf yn fwy hoff o'r wlad nag o'r dref. Yr wyf yn teimlo bob amser fod trwst a helynt y dref yn rhwystr i un glywed Duw yn siarad mewn natur; ac y mae gan y nos, o herwydd ei thaw-elwch, ryw swyn mawr i mi. Hwyrach y chwarddai pobl am fy syniad pe darllen-ent ef; ond y gwir yw, bum yn rhyfeddu lawer gwaith fod heddgeidwaid heb fod yn fwy coethedig ac ysbrydol na dynion eraill. Meddylier y fath amser y maent yn gael i fyfyrio yn awyr Duw yn nystawrwydd dwfn y nos, "yr wybren lâs lachar," chwedl John Jones, Talsarn, uwch eu penau, a phawb o'u cwmpas yn cysgu yn swith. Y fath gyfleusdra ardderchog i ddal cymun-deb â natur ac â Duw yn y dystawrwydd dwfn na thorir gan ddim ond gan gyfarth-iad ambell gi ymhell wrth rhyw dŷ fferm! Oni buasai am ryw bethau eraill ynglŷn â'r swydd, buaswn yn hoffi bod yn police-*man* er mwyn cael bod allan y nos! Ond i ba le yr wyf yn crwydro? Yr oeddwn, meddaf, yn dychwelyd o'r wlad yn llawn asbri a dedwyddwch, heb fawr feddwl fod dim anghysurus yn fy aros. Pan oeddwn yn nesâu gartref, gwelwn bobl yn rhedeg yn gyflym tua'r dref. Prysurais innau, ac yn fuan daethum o hyd i hen löwr methiant-us, ac yntau hefyd yn cyfeirio tua'r dref. Gofynais iddo paham yr oedd y bobl yn rhedeg? Ei ateb oedd—"Y *damp*, y machgen i, yn y Caeau Cochion." Teim-lais fel pe buasai ei atebiad yn rhoddi adenydd i mi. Yn fy meddwl ni chyff-yrddai fy nhraed â'r ddaear, ond cludid fi megys gan gorwynt o ddychrynfeydd oedd yn rhuthro drwy fy nghalon. Gadewais y ffordd fawr, a gwnaethum linell uniongyrch tua chartref. Llamwn dros furiau, gwrych-oedd, a llidiardau, ac, fel y bum yn synu lawer gwaith ar ol hyny, ni theimlwn fod un rhwystr ar fy ffordd. Ac mor hunanol

oeddwn! Ni feddyliwn am neb ond am Bob! A oedd ef ymhlith y rhai a losgwyd? Yn ol yr adeg ar y dydd dylasai fod adref cyn hyn, oblegid yr oedd ei stem ef yn gorphen am saith o'r gloch. Ac eto nid oedd ond ychydig o fynydau wedi saith ar y pryd! Os oedd efe wedi ei losgi i farwolaeth beth a wnawn? Os oedd y tân heb gyffwrdd âg ef mor llawen fyddwn! Ond beth os oedd wedi llosgi ei wyneb—y fath resyn! Tybed a oedd efe wedi colli un llygad—mor hyll a fyddai! O gymaint o feddyliau oeddynt yn rhuthro drwy fy nghalon tra yr oeddwn yn difa y pellder oedd rhyngof a chael gwybod y cwbl! Yn bur fuan cyrhaeddais i olwg ein tŷ ni, a gwelwn fod Bob wedi dyfod gartref. Ond pa fodd? Mewn trol a gwellt ynddi, a dau ddyn, un o bobtu iddo, yn ei gynnal. Yr oeddwn yn ei ymyl mewn eiliad. Clywn ef yn gruddfan wrth gael ei gludo i'r llofft. Yr oedd fy mam cân wyned a'r galchen, ond yn berffaith dawel; yr oedd Bob can ddued a'r gloyn, ac wedi ei losgi yn golsyn, ond yn hollol lonydd. Yr oedd ei lygaid dysglaer a deallgar wedi eu llosgi yn glir allan o'i ben—ac eto yr oedd yn fyw. Ni buaswn yn ei adnabod o holl bobl y byd. Gwelwn fod Doctor Bennett, sef Doctor y gwaith, yn yr ystafell; ond ysgydwai ei ben yn anobeithiol. Treiglai deigryn i lawr grudd y Doctor, a chenfigenwn wrtho, oblegid nid allwn i wylo. Mae y brofedigaeth weithiau mor lem a miniog, fel y mae yr arwyddion cyffredin sydd genym i ddangos ein bod yn ei theimlo yn gwrthod ein gwasanaethu o wyleidd-dra. Felly y darfu iddynt ymddwyn tuag at fy mam a minnau y tro hwn. Ni fedrem wylo. Wedi i rywun, nid wyf yn cofio pwy, roddi llymaid o ddwfr iddo, ymddangosai fel yn bywhâu ychydig, a dywedodd yn eglur—"Mam."

Nesäodd fy mam ato, ac ebe hi—

"Wyt ti yn gweled tipyn, fy machgen?" (Nid oedd fy mam ar y pryd yn deall ei fod wedi colli ei ddau lygad.)

"Ydwyf, mam," ebe fe, "mae y goleuni o'r diwedd wedi dyfod."

Ymhen ychydig eiliadau ychwanegodd yn Saesoneg, "Doctor, it is broad daylight!"

Y fynyd nesaf yr oedd Bob wedi gadael ar ei ol yr holl ofnau a'r tywyllwch i mi ac eraill.

---

### I'R DWYRAIN.

#### PENNOD II.

#### *Cairo a'r Pyramidiau.*

Y MAE Cairo yn ddinas fawr, prifddinas yr Aipht, ac ynddi oddeutu pedwar can' mil o drigolion. Y mae dull y dref yn henafol, yr heolydd yn gulion, a'r tai, fel y maent yn myned yn uwch, o'r braidd yn cyffwrdd â'u gilydd yn y top, gan eu bod yn taflu allan bob uchder. Ac anhawdd ydyw ymlwybro ymlaen ar hyd yr heolydd, gan mor llawnion ydynt o wahanol greaduriaid—pobl a chamelod, mulod a chŵn, yn ymdroi ar draws eu gilydd yn hollol ddireol. Mae'r ddinas hon a'r cwmpasoedd yn hynod ar lawer cyfrif. Mae yn sefyll ar làn afon y Nilus, afon yr Aipht yr ydym yn darllen cymaint am dani yn y Bibl. Dangosir i ni y fan ar ochr yr hen afon lle darfu i Jochebed, mam Moses, ei guddio am dri mis, o achos dyma'r lle yr oedd hi yn byw; ac yma, pan nad allai hi ei guddio yn hŵy, y gwnaeth gawell o lafrwyn iddo, ac a'i rhoes yn nghudd ar làn yr afon; ac yma y danfonodd yr Arglwydd ferch Pharaoh i ddyfod o hyd i'r un bychan oedd wedi ei guddio, ac i'w fagu fel plentyn iddi ei hun, fel y daeth Moses yn fab merch Pharaoh. Dyma lle yr oedd y ddysgeidiaeth oreu yn yr holl fyd i'w chael y dyddiau hyny; a dyma lle yr aeth Moses i'r ysgol, ac y daeth yn ddysgedig yn holl ddysgeidiaeth yr Aiphtiaid (Act. vii. 22). Ac ni buasai efe mor gymhwys i wneyd cyfreithiau, ac i ryddhâu a llywyddu yr Israeliaid, pe heb gael yr holl ddysgeidiaeth a'r ddoethineb a gafodd.

Mae yr Aipht yn wlad ryfedd; y mae yma gysylltiadau â'n cofion cyntaf am y Bibl. Mae rhai o hanesion mwyaf dyddorol y Bibl wedi eu cydwau â thir yr Aipht. I'r wlad hon y dygwyd Joseph pan yr ydoedd yn ddyeithr a digalon, wedi cael ei werthu gan ei frodyr i'r Ismaeliaid; ac yma y bu wedi hyny yn garcharor, pan y darfu i'r Arglwydd drwy hyny ei barotoi i sefyllfa uchel a defnyddioldeb nodedig. Yma y cafodd ei freuddwydion rhyfedd eu dwyn i ben, ac y daeth ei frodyr yn eu hanwybodaeth o'u perthynas iddo i ymostwng yn ostyngedig wrth ei draed. Ac yma y cafodd plant Israel eu cadw mor hir mewn caethiwed caled, a'u gwaredu yn y diwedd mewn ffordd nad oes dim yn ein byd ni wedi dygwydd erioed i'w gystadlu â hi. Yma hefyd y cafodd ein Ceidwad bendigedig ddiangfa yn ei fabandod rhag yr hen frenin creulawn Herod. Dangoswyd i ni yno y lle y bu Joseph a Mair yn aros yn hen ddinas Memphis, a buom i lawr yn ei seler; ac am ddim a allaf fi brofi i'r gwrthwyneb, y maent yn gywir am ei drigfan fechan pan yr oedd yno. Yma y mae gwlad Gosen, y tir a roddodd Pharaoh i Joseph i roddi i'w dad Jacob, ac i'w frodyr a'u teuluoedd, i fyw ynddo. Ac yma, ar ol i blant Israel gynnyddu mor fawr, ac i Pharaoh arall gyfodi, yr hwn

"nad adwaenai Joseph," y gwnaed hwy yn gaethion i'r Aiphtiaid, ac y gorfu iddynt weithio yn galed i'w meistriaid creulawn yn y gweithoedd priddfeini, ac adeiladu dinasoedd iddynt. Gwelir yr Aiphtiaid heddyw yn gwneyd *bricks* yn yr un dull âg yr ydym yn darllen am eu gwneuthuriad yn y bummed bennod o Exodus, sef trwy dori gwellt a'i gymysgu â'r clai, a'u sychu yn yr haul, a dyna yr holl grasu sydd arnynt.

Un o hynodion penaf y rhan hon o'r wlad ydyw y Pyramidiau. Y mae yma naw o honynt oll, ac y mae y mae y mwyaf o honynt, sef Gizeh, yn gorchuddio deuddeg erw o dir. Y mae yn 746 troedfedd bob ffordd, ac yn 460 troedfedd o uchder. Y mae wedi ei sylfaenu ar graig, ac wedi ei adeiladu â meini mawrion anferth, a'u *cementio* i'w gilydd yn gadarn, fel y mae yn un o'r gweithoedd dynol hynaf a mwyaf sydd i'w weled ar y ddaear. Mae llawer o ysgrifenwyr galluog wedi bod yn ceisio dyfalu ac ysgrifenu beth oedd dyben adeiladu y pyramidiau, a phwy a'u hadeiladasant, a pha amser eu hadeiladwyd; ond y mae'r gofyniadau yna yn anatebadwy. Fe fyn rhai mai yn feddrodau i'r breninoedd yr oeddynt i fod; eraill a ddywedant mai at wasanaeth yr astronomyddion yr oeddynt; ac eraill mai at fesur y wlad yr oeddynt. Pa fodd bynag, cafodd rhywrai waith mawr i'w codi. Mae'r ceryg sydd yn eu cyfansoddi wedi dyfod o bellder mawr yn Arabia. Herodotus, yr hanesydd henafol, a ddywed fod yn rhaid iddynt wneyd ffordd yn gyntaf i gario'r ceryg, a bod y ffordd hono wedi cymeryd can' mil o ddynion am ddeng mlynedd i'w gwneyd; ac efe a ddywed hefyd y cymerwyd 360,000 o ddynion am ugain mlynedd i gael y defnyddiau, ac i godi pyramid mawr Gizeh. Nid oes neb yn gwybod yn hollol pa faint o amser sydd er pan adeiladwyd y pyramidiau; ond y mae yn ddiammheuol eu bod wedi eu codi er ys rhwng tair a phum' mil o flynyddoedd. Ac er fod hyn yn edrych yn amser hir, y maent hwy wedi herio pob ystormydd a fu er y dyddiau hyny, ac yn dyweyd yn eu hiaith, Ni a safwn i fyny eto am filoedd o flynyddoedd wedi i enwau ein hadeiladwyr fyned ar goll. Pan ymwelir â Cairo, un o'r gorchwylion pwysicaf ydyw dringo y pyramid mawr. Rhaid cael diwrnod at hyn; a chan fod i bob dydd ei waith neillduol, Mawrth 7fed oedd ein diwrnod ni i wneyd hyn. Yr oedd genym bedair milldir o'r *Hotel du Nile*, lle yr oeddem yn aros. Yr oedd y cwmni yn cymeryd tri cherbyd, *carriage and pairs; turn-out* lled dda ar y cyfan. Ac fel y mae yn hen arferiad yn y wlad hon er ys miloedd o flynyddoedd, yr oedd genym Arabiaid ieuainc yn rhedegwyr—un i redeg o flaen pob cerbyd, â ffon hir yn ei law, ac yn gwaeddi yn barhâus am iddynt gadw'r ffordd yn glir i ni; ac yn wir nid heb eisieu, gan fod y ffyrdd yma mor gulion, a dim *parapets* yn yr ochrau, a'r bobl mor lïosog yn agos i'r trefydd fel y mae'r ffyrdd yn llawnion bob amser, ac yn enwedig pan y bydd gyroedd o gamelod a mulod yn llwythog o gynnyrchion y wlad yn dyfod i'r marchnadoedd. Gosodant lwythi anferth ar gefnau y camelod, gan mai dyma eu hunig droliau hwy i gario llwythi o bobpeth; ac y maent yn gallu eu llwytho yn bur ddeheuig. Yr oedd dosbarth llïosog arall yn ein cyfarfod —y cludwyr dwfr Arabaidd â'u costrelau o grwyn geifr yn llawn o ddwfr ar draws eu cefnau, gan fod yr holl ddwfr a yfir yn Cairo yn cael ei gario yn y drefn hon o'r afon Nilus. Mae'r ffordd hon yn rhedeg drwy ddyffryn ffrwythlawn y Nile. Yr oeddym yn gweled yn barhâus ryw arddangosiadau Biblaidd y buom yn darllen am danynt lawer gwaith; y tai â'r nenau *flat* yn peri i ni feddwl am Rahab a Phedr, a'r anhawsder i gamel fyned trwy le cul gyda llwyth mor fawr o *bamboos* ar ei gefn.

Trwy ymrwyfo ymlaen fel hyn gydag anhawsderau, daethom at ochr y dyffryn lle mae'r anialwch yn dechre; a chydag ychydig o godiad tir sydyn, yr oeddym wrth droed y pyramid. Càn gynted ag y daethom yno, yr oedd ein cerbydau wedi eu hamgylchu gan oddeutu hanner cant o'r Bedouiniaid Arabaidd, a dau o honynt yn gwisgo *turbans* cochion, a llawer o ryw wychder chwanegol, i ddangos mai hwy oedd y *Sheiks*, sef gweinidogion y llywodraeth. Atynt hwy yr oeddym i edrych am rywbeth tebyg i gyfiawnder, ac iddynt hwy yr oeddym i dalu am gael myned i ben y pyramid, sef dau swllt yr un, a dau swllt arall am gael myned oddimewn iddo. Gwelir yn fuan wedi dyfod yma, fod yn ofynol cael rhyw allu i'n cadw rhag y *Bedouins*, neu yr Ismaeliaid. Yr un tylwyth ydynt hwy eto ag oeddynt gynt pan werthwyd Joseph iddynt. Y mae eisieu llawer o ddoethineb ac amynedd gyda'r teulu yma. Ni thâl bygwth ddim, onidê fe allai mai dyrnod marwol a gaech. Ar ol trafod llawer, cyttunwyd o'r diwedd am y tâl am ein cynnorthwyo i fyned i ben y pyramid. Ond gallesid casglu ar unwaith mai nid y ddau swllt oedd yr holl dâl a ddysgwylid, gan y dywedai y *Sheiks* ar yr un gwynt os byddai y dynion yn gwneyd eu gwaith yn foddhaol na byddai genym ddim gwrthwynebiad i roddi ychydig o *pocket money* iddynt. Gyda hyn yr oeddym ar gychwyn i fyny, a thri Arab talgryf yn cymeryd meddiant o gorff pob un o honom; un gan afael ymhob garddwrn yn

tynu, ac un o'r tu ol yn gwthio. Wrth i ni gychwyn, yr oeddynt yn eu canmawl eu hunain ac yn dyweyd, "Yr ydym ni yn ddynion da iawn, ac yn dysgwyl y byddwn yn eich boddhâu yn fawr." "*Now then!*" gwaeddai un oedd yn ystyried ei hunan yn dipyn o *foreman*, ac i fyny â ni o ris i ris, a phlwc ar ol plwc. Gan fod pob un o'r grisiau yma o ddwy i dair troedfedd a hanner o uchder, yr oedd y dringo yn achosi gryn lawer o egni a *strain* ar y corff. Ac wrth ddringo cadwai y tri y *chorus* parhâus hwnw i fyny, "Y mae genych chwi ddynion da; nid oes perygl yn y byd arnoch chwi, a chwi ewch i fyny yn fuan iawn." Ond yr oeddynt yn llusgo cymaint arnaf, fel yr oedd yn rhaid dyweyd wrthynt nad oeddwn ar lawer o frys, ei bod yn gynnar ar y dydd eto; ond rhoddwyd ar ddeall i mi ei fod yn cael edrych arno yn beth mawr a phwysig gallu bod i fyny yn y top yn gyntaf o'r cwmpeini. Gofynent yn bur aml a oeddwn yn foddlawn ar y dull yr oeddynt yn gwneyd eu gwaith, a gwneid crybwylliad mynych am y *backsheesh* a ddysgwylient. Yr oeddwn innau yn ceisio bwrw hyny heibio oreu y gallwn ar hyny o bryd, o achos yr oeddwn yn ystyried mai nid ar ymyl y fath uchder ag yr oeddwn yn sefyll arno yr oedd y lle i geisio dadleu â chreaduriaid hanner barbaraidd am y rhodd a gaent. Yr oeddynt hwy fel yn cryfhâu fel yr oeddwn i yn gwanychu. O'r diwedd, dyma ni i fyny i ben uchaf y pyramid, yr hwn sydd wastadedd oddeutu deg troedfedd ar hugain ysgwâr, ond wedi bod, mae yn amlwg, ar y cyntaf yn cyrhaedd i *boint*, ac wedi cael ei dynu i lawr gymaint â hyny rywbryd. Ar ol ein cael i fyny, yr oedd gan yr Arabiaid hwrê gynhyrfus; ac ar ol i ni eistedd, yr oeddynt yn parotoi am wneyd masnach ar unwaith: un wedi dyfod â dwfr i fyny i'w werthu, ond yr oedd yn well genyf ddisychedu fy hun â'r *orange* yr oeddwn wedi ei barotoi yn flaenorol; eraill yn cymeryd y cyfle i geisio genym brynu hen *coins* oedd ganddynt, wedi eu cael, meddynt, mewn beddrod yn agos i'r pyramid; ond yr oeddym ni yn barnu mai wedi eu gwneyd yn Cairo yr oeddynt, yn bwrpasol i geisio twyllo'r ymwelwyr. Eithr rhaid addef eu bod wedi llwyddo i'w gwneyd yn bur debyg i hen gopr. Yr oeddwn yn ceisio eu troi heibio trwy ddyweyd nad oeddwn un amser yn gofalu am bethau felly, ond y buasai eraill yn rhoddi llawer iawn am danynt. Ceisient hefyd wneyd cyttundeb â ni am dori ein henwau ar y ceryg ar y top, gan ddangos enwau pobl hynod oedd wedi cael tori eu henwau yno yn flaenorol. Yn eu plith yr oedd enw y *Prince of Wales* ac eraill. Ac i gael yn glir â'r teulu yn hyn eto, dywedwn fy mod yn hoff iawn o gael tori fy enw fy hunan bob amser mewn lleoedd hynod felly, gan ddechre ar y gwaith. Ar ol iddynt ddeall nad oedd dim dyben ceisio gwneyd masnach â'r pethau a enwyd, nid oedd dim ond troi at y *backsheesh* eto, a dyweyd y buasent yn hoffi yn fawr ei gael cyn myned i lawr, o achos y buasai yn rhaid iddynt ranu â llawer eraill wrth ei gael wedi myned i lawr. Yn wir, yr oedd ceisio dadleu â thri Arab hanner barbaraidd, pan yn agos i bum' can' troedfedd i fyny yn yr awyr ar wastadedd mor fychan, mewn perthynas i'r *backsheesh* a gaent, yn orchwyl lled anhyfryd, yn enwedig pan yr oedd sŵn bygythiad i'w glywed yn y drafodaeth, er, fe allai, nad oedd yno ddim perygl gwirioneddol. Pa fodd bynag, yr oeddwn wedi penderfynu peidio ildio iddynt ar y pen hwn; a dywedais wrthynt yn benderfynol y caent eu *backsheesh* cân gynted ag yr aent i lawr, a dim yn gynt; a chefais felly lonyddwch lled dda ar ol hyny nes myned i lawr i'r gwaelod. Ond rhaid addef fod aflonyddwch y creaduriaid hyn wedi bod yn achos i ddylu llawer ar yr olygfa ardderchog sydd i'w chael o ben y pyramid ar ol dringo i fyny. O'n blaen y gorweddai dyffryn prydferth afon yr Aipht, yn wastadedd gwyrddlas, ac yn cael ei amgylchu gan y diffeithwch tywodlyd, yn dyrchafu yn fryniau uchel, y naill yn uwch na'r llall. I'r dwyrain y gorweddai Cairo, a'r haul yn pelydru ar ei themlau a'u pigdyrau uchel; ac yn y pellder draw gwelid olion hen ddinas Memphis gynt. Bellach, ar ol syllu i bob cyfeiriad, rhaid oedd cychwyn i lawr; ac fel yr oeddwn yn dysgwyl, y mae dyfod i lawr y pyramid yn llawn mor flinderus ag ydyw myned i fyny. Eu cynllun hwy tuag at ddyfod i lawr yn ddiberygl ydoedd i un Arab ddattod ei benwisg (*turban*), a'i rwymo am danaf i ddal o'r tu ol, a'r ddau eraill yn ymaflyd un ymhob llaw, megys wrth fyned i fyny; ac ar ol hwylio cychwyn, yr oeddem yn fuan yn y gwaelod, heb i ddim anghysurus ddygwydd; ac yr oeddwn yn ymdeimlo yn bur ddiolchgar am gael fy nhraed ar lawr yn ddiogel.

Bellach y peth pwysig oedd gallu dyfod i gydweled mewn perthynas i'r rhodd arianol, y *backsheesh* a ddysgwylient oll. Nid oedd y gwaith, mae yn wir, wedi ei orphen eto, o achos yr oedd arnom eisieu myned oddifewn i'r pyramid, ac eisieu iddynt ein cynnorthwyo i fyned yno; ond nid oedd dim dyben ceisio hyny yn gyntaf; yr oedd yn rhaid cael y *backsheesh* am yr hyn a wnaed yn gyntaf. Ar ol taeru ac ysgwyd pen, deuwyd i gyttundeb. Yr oeddent yn dyweyd y byddent yn cael sofren gan rai, a llawer o bethau cyffelyb. Wel, yr oedd raid yn awr wneyd ail gyttundeb am eu

cymhorth i fyned oddimewn; ac yr oedd hwn yn orchwyl llawn mor galed a garw ag oedd y dringo oddiallan, gan fod y fynedfa mor gyfyng ac mor serth, ac heb awyr. Yn agos i waelod y pyramid y mae drws bychan yn arwain i lawr i fynedfa gyfyng serth am belider; yno troir ar yr aswy tuag i fyny ar lwybr llawn mor serth am bellder mawr, nes dyfod i ystafell fechan ngain troedfedd ysgwâr hollol dywyll. Barn rhai ydyw mai unig ddyben adeiladu'r pyramid oedd cael yr ystafell fechan hon yn feddrod i'r brenin a'i cododd. Wrth ddyfod allan dywedais wrth yr Arabiaid fod yn bur debyg mai y tro olaf, yn gystal a chyntaf, fyddai hwn i ni flino ein gilydd, gan fod profiad yn fy nysgu fod unwaith mewn oes yn ddigon i ddringo'r pyramid. Yn agos i'r pyramid hwn y mae'r ddelw fawr *Sphinx*. Y mae hon yn driugain a chwech o droedfeddi o uchder, ac yn dair ar ddeg o droedfeddi ar draws ei thalcen, wedi cael ei gweithio allan o graig oedd yn y lle. Cafodd hon addoli llawer arni am oesoedd.

Nid oeddym wedi darfod â'r pyramidiau eto. Y diwrnod nesaf yr oeddym yn myned i weled y Sakhara, yr hwn sydd ychydig yn llai na Gizeh. Y mae hwn yn agos i weddillion hen ddinas Memphis (Hos. ix. 6), yr hon sydd ugain milldir o Cairo. Bu yn brifddinas yr Aipht Isaf am oesoedd nes y maluriwyd hi gan ryfeloedd creulawn. Dywedir fod ei hamgylchedd yn 18¾ milldir. Ar ol hyny yr adeiladwyd Cairo, yr hon sydd ar yr ochr arall i'r Nilus. Yr oedd y *train* yn myned â ni o Cairo am bedair ar ddeg o filldiroedd, ond nid oedd olud i'w gael i fyned y chwe' milldir arall drwy anialwch tywodlyd heblaw cymeryd nifer o fulod gyda ni yn y *train* i ddechre, a phob un â'i asyn i fyned yno ac yn ol. Clywais sôn lawer gwaith am redegfa mulod, hwy yn myned am yr olaf; ond fel arall yr ydoedd yma—am y blaenaf yr elent.

Yn fuan ar ol i ni gyrhaedd y pyramid, daeth dau fab Tywysog Cymru yno, yn yr un drefn a ninnau, sef ar eu mulod. Edrychent yn hynod ddirodres. Yr oeddym wedi eu gweled y Sabboth blaenorol yn yr unig eglwys Seisonig sydd yn Cairo, a'r *British Consul* gyda hwy. Er eu bod yn aros gyda'r Khedive, yr oedd efe yn ddysgybl rhy ffyddlawn i Mahomet i fyned gydag wyrion ein Brenines ni i eglwys Brotestanaidd.

Mae yma lawer o bethau wedi cael eu darganfod yn ddiweddar. Yn agos i weddillion hen ddinas Memphis, deuwyd o hyd i ddelw anferth o Ramases Fawr, neu Pharaoh yr ail, tad y ferch garedig hono a ddaeth o hyd i Moses, ac a'i magodd iddi ei hun. Y mae'r ddelw ar ei gwyneb yn y ffos eto, ac wedi cael ei hanurddo yn fawr. Y mae i ddyfod i'r Amgueddfa Brydeinig yn Llundain, os gellir ei chludo. Mae adfeilion Memphis wedi cyrhaedd dyddordeb newydd oddiwrth y chwiliadau sydd wedi cael eu gwneyd yn ddiweddar. Un darganfyddiad pwysig oedd teml Serapis, yr hon a ystyrid ei bod wedi cael ei llwyr ddinystrio. Yn awr y mae'r tywod wedi ei symud ymaith yn llwyr oddiwrth weddillion y deml fawr a hynafol hon. Cynnwysa amryw ddarluniau o Apis, a delwau o Homer, Plato, ac eraill. Darganfyddwyd yma hefyd hen fedd mawr Apis. Y mae hwn wedi ei dori yn ddwfn yn y graig odditanodd, a mynedfa fechan i lawr iddo. Yr oedd hon wedi ei gorchuddio â thywod hyd yn ddiweddar, pan y doed o hyd iddi. Mae hŷd y fynedfa yn y gwaelod yn bedwar can' troedfedd, ac y mae yn ddeg troedfedd o led, ac yn chwech ar hugain o uchder. Mae pedair ar hugain o ystafelloedd o bob tu i'r fynedfa yma; ac y mae ymhob ystafell arch i gorff y tarw y buont yn ei addoli. Cîst anferth ydyw hon o *granite* du, wedi ei chaboli yn brydferth, pob cîst yn mesur tair ar ddeg wrth saith troedfedd oddimewn, ac yn pwyso pump a thriugain tunnell yr un, a'r cyfan i roddi cyrff y teirw addoledig. Y mae yma lawer o *paintings* wedi dyfod i'r golwg, a llawer o ddarluniau ar y marian, y rhai hyn yn olygfeydd o fywyd yr ymadawedig, ac wedi eu bwriadu yn arbenig i ddangos allan o flaen llygaid yr edrychydd ei olud mewn ychain, anifeiliaid, a gweision.

Ar ol gwneyd ymchwiliad yn y lle hynod hwn, yr oeddym yn troi yn ol; ac i gyrhaedd Cairo yn gynnar yr oedd yn rhaid i ni a'r mulod fyned i hen ysgraff i groesi yr afon; a chan nad allai'r ysgraff fyned yn agos i'r lân, am fod y dwfr yn fâs, bwrid y mulod dros y bwrdd i'r dwfr drwy orthrech, o ba le yr oeddynt i wneyd eu ffordd i'r lân oreu y gallent. Cawsom ni, pa fodd bynag, ein cario i'r lân; ond yr oeddym yn meddwl wrth olwg y rhai a'n cludent mai peth bychan ganddynt a fuasai rhoddi yr un driniaeth i ni ag i'r mulod.

Cyn gadael Cairo buaswn yn hoffi dyweyd gair am arferion y brodorion. Maent yn gyffredin yn gwneyd ac yn gwerthu eu nwyddau yn yr ystafell fechan, a alwant yn *bazaar*, ac Arab gyda ei *turban* fawr am ei ben yn eistedd ar ganol y llawr, yn ysmocio yn barhâus. Medr o'r braidd gyrhaedd ei *shop* i gyd heb godi, â'i olwg cilwgus yn dyweyd wrth bawb, Cedwch draw, yn hytrach na Deuwch i mewn. Maent yn rhanu y dref: un rhan i'r teilwriaid, rhan arall i'r pobyddion, a rhan

arall i'r gofaint. Yma ni wiw ymddiried i gloion, a *shutters*, ar ffenestri am fasnachdai o ddim maint. Rhaid cael gwylwyr i'w gwylied drwy y nos. A'u dull hwy ydyw dwyn gwelyau eulion ar eu cefnau yn yr hwyr, a'u gosod ar draws gwaelod y ffenestr oddiallan a chysgu arnynt, ac yn y bore cymeryd eu gwely i fyny a rhodio. Gwelem hefyd fod amlwreiciaeth yn parhâu yn y wlad hon. Yr oeddem yn dygwydd bod wrth eglwys yno un diwrnod, pan y gwelem dri cherbyd yn dyfod. Yn y cyntaf yr oedd y gŵr ieuanc a'i wraig ieuanc; yn yr ail ac yn y trydydd yr oedd pedair gwraig oedd gan y dyn yn flaenorol, a phawb yn edrych yn bur galonog yn myned i'r briodas.

E. Owen.

*Bootle.*

---

ADGOFION AM Y CARNEDDI, BETHESDA.

PENNOD I.

Wrth ddarllen hanes dechreuad a chynnydd yr achos crefyddol mewn gwahanol ardaloedd, meddyliasom nad annerbyniol fuasai ychydig o lawer o "adgofion" am yr achos crefyddol yn ein hen ardal enedigol ninnau—sef y Carneddi. Hyderwn y rhydd yr ychydig hanes a'r adgofion a grybwyllwn, ryw gymaint o oleuni a hyfrydwch i liaws o'n darllenwyr.

Os felly, atebant eu dyben. Mae yn ddiamheuol fod edrych ar gynnydd crefydd yn y byd yn hyfrydwch annhraethol ac yn wir ddyddorol i feddwl yr hwn sydd yn ei charu; ac fe ddichon nad all dim weinyddu iddo fwy o gysur. Fe allai mai un llwybr i gael golwg glir ar gynnydd crefydd yw, trwy gymharu yr amserau a aethant heibio â'r amser presennol. Y mae rhai yn ein gwlad yn barod i ddywedyd, fel y clywsom un yn dyweyd yn ddiweddar iawn, fod crefydd yn darfod ac yn adfeilio y naill ddydd ar ol y llall, a bod y dyddiau o'r blaen yn llawer gwell na'r dyddiau hyn—fod y pregethwyr a'r blaenoriaid yn tra rhagori, yn yr amser a basiodd, a bod y bobl ieuainc yn fwy sobr, dichlynaidd, a chrefyddol, ac felly ymlaen. Gellir casglu oddiwrth ambell un fod pob daioni a rhinwedd wedi eu claddu. Mae yn wir nad ydyw crefydd ddim yn cael ei gweithio ymlaen yn hollol yn yr un wedd a'r un dull yn ein dyddiau ni âg a fyddai yn y dyddiau gynt. Gallem ychwanegu nad ydyw gweithrediadau yr Ysbryd Glân, hwyrach, yn ymddangos mor nerthol y dyddiau hyn ag yn y dyddiau gynt, megys yn yr amrywiol ddiwygiadau mawrion a fu yn ein gwlad er ys ugeiniau o flynyddau yn ol, am ba rai y cawn sylwi eto. Ond y mae yn bur amlwg fod crefydd mewn modd dystaw yn myned rhagddi, ac yn profi trwy ffrwythau ei bod o'r un natur a'r un a gynnyrchid trwy'r nerthoedd i anorchfygol y cyfeiriasom atynt.

Mae yn ddiddadl fod teyrnas yr Arglwydd Iesu wedi ennill tir lawer iawn yn Nghymru yn ystod y triugain mlynedd diweddaf. Mewn gwirionedd, ychydig iawn o ôl crefydd oedd i'w ganfod driugain a deg o flynyddoedd yn ol yn mhlwyfydd Llanllechid a Llandegai. Mae rhai yn fyw yn awr yn cofio y lleoedd hyn heb nemawr o bregethu ynddynt, ac ychydig iawn o bregethu rheolaidd a chyson. Tua'r adeg yma yr oedd yn y ddau blwyf lawer o hen gampau llygredig mewn grym ac arferiad cyffredin, ie, hyd yn nôd ar y Sabbothau. Ac yn wir nid oedd na "pherson na chlochydd" yn gwneyd dim er eu gwanhâu. Na, buasai yn haws ganddynt gydsynio a chydweithredu â hwy. Tua'r adegau hyn yr oedd y ffeiriau, y marchnadoedd, y gwylmabsantau, y priodasau mawr, ac hyd yn nôd y claddedigaethau, yn ddychrynllyd o lygredig a phechadurus, a hyny yn cael eu dilyn gan feddwdod ac ymladdfeydd gwaedlyd. Gallem ychwanegu fod nosweithiau penodol i chwareu cardiau ac i ymladd ceiliogod, a drygau eraill, a bod y rhai hyn mewn bri mawr tua'r amser a nodwyd. Ac yr ydym yn gorfod barnu na bu neb yn y cymydogaethau hyn mor ddiwyd ac ymdrechgar i gael y campau a'r chwareuyddiaethau llygredig hyn i lawr na'r diweddar ddiacon duwiolfrydig, William Jones, Abercaseg. Bu efe yn ymroddgar a diwyd hyd nes y cafodd hwy i lawr yn hollol yn y ddau blwyf. Cawn sylwi am y gŵr da hwn eto. Er yr holl dywyllwch oedd yn gordoi ein gwlad yn gyffredinol, a'r ddau blwyf dan sylw yn neillduol, tua phedwar ugain mlynedd yn ol, eto yr oedd llawer yn dwyn mawr zel dros hen grefydd eu tadau. Yr oeddynt yn ofalus iawn am fedyddio eu plant yn "yr Eglwys," a'u conffirmio wedi hyny; a byddai agos i bawb yn myned am eu cymun ar y gwyliau penodedig, yn neillduol ar Sul y Pasc. Ond wedi'r cyfan, yr oedd eu crefydd yn caniatâu iddynt fyw yn y modd mwyaf llygredig ac annuwiol. Ac os caent wr eglwysig i weinyddu y cymun iddynt ar eu clafwely, dyna bob peth yn iawn. Er yr holl bethau hyn, dyma'r dyddiau y myn rhai i ni gredu eu bod yn ddyddiau gwell na'r dyddiau presennol. Os oes rhai yn credu y fath gyfeiliornad, anturiwn ddyweyd eu bod yn hollol amddifad o syniadau cywir am ddrwg a da moesol, ac am deyrnas pechod a theyrnas gras.

Wedi gwneyd ychydig sylwadau arweiniol fel hyn, ai a ddisgynwn yn awr yn fwy

uniongyrchol ar ein testun, neu ar yr hyn a roddasom fel penawd i'n hysgrif. Mae yn bur amlwg fod achos crefydd wedi llwyddo yn rhyfeddol yn y ddau blwyf uchod yn ystod y deng mlynedd a thriugain diweddaf. Ond yn yr ychydig nodiadau yr ydym ar fedr eu gosod o flaen ein darllenwyr, ni a'u cyfyngwn yn unig i'r achos crefyddol yn nghapel y Carneddi.

Ychydig amser cyn adeiladu capel y Carneddi, nid oedd yn perthyn i'r Methodistiaid Calfinaidd yn mhlwyfydd Llanllechid a Llandegai ond un daith Sabboth, sef, y Chwarel am ddeg, yr Achub am ddau, a'r Gatehouse am chwech. Yn awr y mae yn anghenrheidiol cael wyth o bregethwyr i lanw y cylch y byddai un y pryd hwnw yn ddigon i'w lanw yn rhwydd. Erbyn heddyw nid oes yn y cylch hwn ddim llai na deg o gapelau heirdd, gan mwyaf o honynt yn gapelau tra helaeth. Fe allai y cânt ddyfod o dan ein sylw eto fel yr awn ymlaen.

Fel yr oedd yr achos yn cynnyddu yn nghapel bach yr Achub, daeth i feddwl amryw o'r brodyr oedd yn byw yn ardal y Carneddi mai peth tra buddiol a fyddai cael capel yn rhywle yn yr ardal hono. Aeth nifer o'r brodyr i'r Cefnfaes, Llanllechid, at Mr. Owen Ellis, tad Humphrey Ellis sydd yno yn bresennol, i ofyn a fuasai efe yn gosod lle iddynt i adeiladu capel yn y lle. Buont yn llwyddiannus i gael tir yn ol can' mlynedd o brydles, yr hon wedi iddi ddyfod i fyny, sydd i gael ei hestyn i gan' mlynedd arall. Cawn mai drychfeddwl o eiddo yr hen frodyr canlynol, pa rai sydd oll wedi myned i ffordd yr holl ddaear er ys llawer dydd, oedd cael capel yn y Carneddi! sef William Jones, Abercaseg—Richard Jones (ei frawd) Taiduon—Moses Rowland, Parc—Edmund Jones, Tanygarth—Richard Thomas, Penisa'rnant—Morris Griffith, Penybryn—William Jones, Glanygors, ac Evan Ellis, Llwynrhandir. Gan fod ardal y Carneddi a'r cwmpasoedd yn cynnyddu yn gyflym y pryd hyny yn nifer ei thrigolion, meddyliwyd mai doeth a fyddai gwneyd y capel yn un lled helaeth. Felly fu: gwnaed ef i fesur tua 14 llath o hŷd wrth 11 llath o lêd. Yr oedd hyn yn fesuriad mawr y dyddiau hyny. Gwnaed ef yn unol â'r ffasiwn ar y pryd, yn hollol wladaidd a diaddurn. Y pregethwyr a weinyddasant yn agoriad y capel cyntaf hwn yn y Carneddi oeddynt,—David Jones, Beddgelert—Robert Jones, Rhoslàn—a John Jones, Tremadog.

Fel yr awn ymlaen, edrychwn ar yr achos crefyddol yn y lle hwn yn ei gysylltiad â dau beth yn fwyaf neillduol, sef o ran ei ddechreuad, ac o ran ei gynnydd, neu ei lwyddiant. Pan symudodd yr eglwys fechan gyntaf o hen gapel yr Achub i gapel newydd y Carneddi, yr ydym yn cael mai rhifedi yr aelodau ar y pryd oedd pedwar a thriugain. Erbyn heddyw, nid oes un o'r rhai hyny yn fyw. Y diweddaf o honynt a fu farw oedd y diacon ffyddlawn, Mr. Griffith W. Prees, yn niwedd ei oes o Upper Bangor. Wedi'r sefydliad yn y Carneddi, trefnwyd fod i'r unig daith Sabboth oedd yn mhlwyfydd Llanllechid a Llandegai fod fel y canlyn:—Felinhen (mewn annedd-dŷ yn Llandegai), am ddeg yn y bore; y Gatehouse (capel bychan) am ddau, a'r Carneddi am chwech yn yr hwyr. Y Sabboth cyntaf wedi agoriad y capel newydd, y gŵr a bregethodd yn y daith newydd hon oedd y Parch. John Roberts, Llangwm; pregethwr enwog ar y pryd.

Yn awr symudwn ymlaen i wneyd rhai sylwadau ar yr achos yno o ran ei gynnydd a'i lwyddiant. Y blaenoriaid eglwysig a ddaethant gyda'r ddeadell fechan o hen gapel yr Achub oeddynt,—William Jones, Abercaseg. Richard Jones (ei frawd), a W. Williams, Tŷ capel. Dyn da, gweithgar, llafurus, a duwiol iawn oedd William Jones, Yr oedd yn llawn eiddigedd yn erbyn pechod ymhob ffurf arno. Bu yn foddion arbenig i ddwyn llawer o chwareuon llygredig i lawr yn mhlwyfau Llanllechid a Llandegai, ac i gael lliaws o'r chwareuwyr i'r Ysgol Sabbothol. Bu yn llafurus a ffyddlawn gyda'r Ysgol Sabbothol am tua deugain mlynedd; ac y mae'n ddiammheu i lawer o fendithion ddilyn ei lafur. Fel blaenor eglwysig gwasanaethodd y swydd am tua deng mlynedd ar hugain, a hyny gyda zel, ffyddlondeb, a pherffaith gywirdeb. Er nad oedd yn meddu ar alluoedd meddwl cryfion, ceid ef yn dra zelog fel pleidiwr yr egwyddorion Calfinaidd. Bu farw yn y flwyddyn 1837.

Un arall a ddaeth yr un amser, fel y nodwyd, oedd ei frawd Richard Jones. Hen ŵr tirion, efengylaidd ei ysbryd, a duwiol iawn oedd yntau, a chafodd eglwys y Carneddi golled fawr yn ei farwolaeth. Bu efe, fel ei frawd William, yn foddion i gael lliaws o chwareuon ffol a llygredig oedd yn yr ardal y pryd hwnw i lawr. Gwasanaethodd ei swydd yn wresog, diwyd, a ffyddlawn. Bu farw yn y flwyddyn 1839.

Am y blaenor arall a ddaeth o'r Rachub gyda'r ddau frawd uchod, sef William Williams, Tŷ capel, codwyd ef yn flaenor yn Llanfairfechan, a hyny cyn iddo ddyfod i fyw i blwyf Llanllechid. Yr oedd y gŵr hwn yn daid i Mr. Ellis Ylltyr Williams, Dolgellau. Dyn lled ddystaw, ac yn neillduol felly gyda golwg ar ei swydd fel blaenor eglwysig, ydoedd ef. Ond yr oedd yn gwella llawer gyda hyn at derfyn ei oes. Yr oedd yn dra chyfarwydd yn

egwyddorion Cristionogaeth; a gwasanaethodd ei swydd yn nodedig o ffyddlawn; a ffyddlondeb yw y gras penaf. Bu farw yn y flwyddyn 1845.

Y blaenor cyntaf a godwyd wedi dyfod i'r Carneddi oedd y diweddar a'r hynod Thomas Jones, Brynllys. Cymerodd hyny le yn y flwyddyn 1819, ymhen y tair blynedd wedi iddynt adeiladu'r capel. Yr oedd Thomas Jones fel aelod ac fel diacon eglwysig, yn un o'r rhai hynotaf yn ei oes. Oedd, yr oedd yn un *hynod* ymhlith y saint. Byddai ef ei hun yn ymffrostio yn fynych yn y campwaith a wnaeth gras arno. Dywedai fod cymaint o waith wedi ei wneyd arno ef ag a wnaed ar apostol mawr y cenedloedd. Gallwn ddyweyd am dano iddo wasanaethu crefydd yn onest, ac yn onest iawn; a bu yn dra diwyd a ffyddlawn ar hyd ei yrfa grefyddol. Gwasanaethodd fel diacon yn y Carneddi am tua deuddeng mlynedd ar hugain, a hyny gyda'r egni a'r gonestrwydd puraf. Yr oedd fel swyddog eglwysig yn dra chymeradwy, nid yn unig yn ei ardal ei hun, ond trwy'r wlad yn gyffredinol. Bu yn cynnal cyfarfodydd eglwysig mewn llïaws o fanau yn Môn ac Arfon. Bu farw mewn tangnefedd, Gorphenaf 7, 1851, yn 70 mlwydd oed. Mab iddo ef oedd y diweddar Barch. William Jones, Dwyran, Môn. Gan fod cofiant am dano wedi ymddangos yn y DRYSORFA yn 1858, ni wnawn ond cyfeirio ein darllenwyr yno, lle y cânt hanes cyflawn am y dyn rhyfedd hwn. Gadawn y blaenoriaid yn y fan hyn yn awr, gan addaw dyfod atynt rywbryd eto fel yr awn ymlaen.

Cawn mai yr un a ymunodd gyntaf â'r eglwys yn y Carneddi wedi eu dyfodiad o'r Achub oedd yr hen gristion Mary Griffith, Tai newyddion, Nant Ffrancon, mam i Mri. R. Parry, Jerusalem, a D. Parry, Tai newyddion—dau flaenor cymeradwy. Ni bu rhyw gynnydd neillduol ar yr eglwys hyd nes y daeth y "diwygiad mawr," yr hwn a adnabyddir fel "Diwygiad mawr Beddgelert," yn y flwyddyn 1819, a'r flwyddyn ganlynol. Cynnyddodd yr eglwys yn ddirfawr yn ystod y ddwy flynedd hyn. Yr oedd hwn yn un o'r diwygiadau mwyaf nerthol a grymus a gafwyd yn Nghymru erioed. Ac felly y caed ef i fesur mawr yn nghymydogaeth Bethesda. Gallem enwi llïaws o ddynion, fel ffrwyth y diwygiad hwn, a droisant allan yn dra gwasanaethgar gyda chrefydd ar hyd eu hoes, o ba rai y mae amryw yn fyw hyd heddyw. Yr oedd gwedd newydd i'w ganfod ar achos crefydd yn y Carneddi wedi i'r diwygiad dori allan; pob peth ynglŷn â'r achos yn dechreu cymeryd gwedd hapus.

Fe allai nad annyddorol fyddai enwi rhai o'r brodyr oedd yn cymeryd rhan flaenllaw yn yr achos tua'r adeg yma. Cawn mai y gŵr a fyddai yn arfer cyhoedd!i y gwahanol foddion yn y capel newydd, ac a barhäodd felly am amryw flynyddoedd, oedd yr hen Forus Griffith, Penybryn. Mae wyrion ac orwyrion iddo eto yn yr ardal.

Y rhai cyntaf fel arweinwyr y canu cynnulleidfäol (nid oedd canu corawl wedi dechre y pryd hyny), oeddynt Meistri David Rowland, Nantygraen — William Parry, Llanllechid — Thomas Rowland, Nantygraen — a Griffith Ellis, Pantdreiniog. Maent oll wedi myned i fedi o ffrwyth eu llafur. Yn lled fuan wedi ymsefydlu yn y Carneddi, codwyd Mr. Edward Thomas, Coedyparc (Rhiwlas gynt), yn rheolaidd yn arweinydd y canu, yr hyn a wnaeth gyda medr anghyffredin, hyd nes yr adeiladwyd capel Penygroes, pryd y symudodd efe i'r capel hwnw gyda nifer fawr o aelodau yr eglwys; oblegid aelodau o'r Carneddi oedd yn ffurfio eglwys yn y lle.

Ffurfiwyd neu sefydlwyd yr Ysgol Sabbothol y Sabboth cyntaf wedi agoriad y capel newydd. Yr arolygwyr y blynyddoedd cyntaf oeddynt — William Jones — Thomas Rogers, Chwarel—John Williams, Chwarel—a Thomas Owen Pierce, Glanygors. Cymerid gofal y canu gan William Jones, Gerlan (brodor o Ffestiniog), a Griffith Ellis, Pantdreiniog.

Byddai cyfarfodydd pregethu blynyddol yn cael eu cynnal, hyd yn nôd yn nghapel bach yr Achub, cyn adeiladu capel y Carneddi, tua saith mlynedd a thriugain yn ol. Dydd Iau y Dyrchafael y byddid yn arfer cynnal y cyfarfodydd y pryd hyny. Y gweinidogion oedd yn cynnal y cyfarfod blynyddol cyntaf yn y Carneddi saith mlynedd a thriugain i ddydd Iau y Dyrchafael diweddaf oeddynt—y Parchn. William Lloyd, Caernarfon, yr hwn a adnabyddid yn llawn gwell y pryd hyny wrth yr enw "Yr Hen Lwyd Offeiriad," ar y cyfrif iddo gael ei ddwyn i fyny ar y cyntaf yn offeiriad yn yr Eglwys Sefydledig—William Roberts, Clynnog—ac Evan Richardson, Caernarfon. Clywsom gan ŵr oedd yn y cyfarfod fod arddeliad neillduol yn cydfyned â gweinidogaeth y tri gŵr da, fel y chwanegwyd llïaws at yr eglwys.

LLECHIDON.

*Roewen.*

---

Os yw ein cais, os yw ein bryd,
Am fyw *dros* Dduw yn hyn o fyd,
Cawn hwnt i angeu, yn y nef,
Fyw yn dragywydd *gydag* Ef.

## Barddoniaeth.

### FY MHROFIAD.

Anwyl deulu Iesu Grist,
  Chwiliais, do, y ddaear gron;
Teithiais lwybrau ceimion trist
  Heb gael heddwch dan fy mron:
F' ysbryd heddyw dry i'ch mysg
  Yn ffoadur truan llyth;*
Frodyr, yn y fan y llŷsg
  Allor genych, boed fy nyth.

Cyflym ddarfod mae fy nydd,
  Bellach, mae hi yn hwyrhâu;
Ar bob llaw arwyddion sydd
  Fod y nos yn agoshâu:
Ond fel cafwyd yn Emmaus,
  Gwledd geir yn eich cwmni cu,
Er fod llèni 'r hwyr yn llaes,
  Y mae 'r Iesu yn y tŷ.

Crwydro 'n unig mwy ni wnâf,
  Megys cwmwl, gwynt, neu li';
Man b'och chwi yn gartref gâf,
  Lle b'och feirw cleddir fi:
A boed im' tu draw i'r bedd
  Gyda Christ a chwi gael byw,
I fwynhâu tragwyddol hedd
  Gogoneddus ddinas Duw.

GARMONYDD.

* Llyth:—Lleag (weak, feeble).
"Dartyddant hwy, perchir di byth,
Treuliant fel *llyth* drwsiadau."
EDMUND PRYS. Salm cii. 26.

### ANGHREDINIAETH.

O! ANGHREDINIAETH greulon,
  Rhoist imi lawer clwy',
Bum dan dy chwerw loesion
  Yn gruddfan fwy na mwy:
Ond diolch am y boreu
  Caf ddianc rhag dy wae,
At Iesu 'r Cyfaill goreu,
  A'i weled fel y mae.

GARMONYDD.

### BWYD A BWYTAWYR.

Mae rhai 'n meddu bwyd ac heb allu ei fwyta,
Ac eraill heb fwyd er yn wancus eu cylla:
Chwychwi sydd â bwyd ac âg iawn archwaeth ato,
Diolchwch i'r Arglwydd, a llwyr weithiwch drosto,
A chyda parodrwydd cyfrenwch o'ch llawnder,
I'r rhai sydd o'ch amgylch a wesgir gan brinder.

PRYDYDD BACH.

## Adolygiad y Wasg.

HISTORY OF PROTESTANT NONCONFORMITY IN WALES, *from its rise in 1633 to the present time.* *By* THOMAS REES, D.D. Second Edition, revised and considerably enlarged.

London: John Snow and Co.

ODDIWRTH y Rhagymadrodd i'r llyfr hwn, yr ydym yn deall fod yr argraffiad cyntaf wedi ei gyhoeddi yn y flwyddyn 1861, a bod dwy fil o gopïau o hono wedi eu gwerthu mewn ychydig amser. "Yn ystod yr un mlynedd ar hugain diweddaf, darganfyddodd yr awdwr amryw lawysgrifau yn y *Record Office*, y *British Museum*, &c., yn taflu goleuni chwanegol ar hanes crefydd yn y Dywysogaeth. Y mynagysgrifau gwerthfawr hyn a gopïwyd yn ofalus, ac ydynt wedi eu corffori yn yr argraffiad presennol, fel y mae yn cynnwys yn agos i un ran o bump yn fwy o fater nag yn yr argraffiad cyntaf."

Cynnwysa y gwaith, yn gyntaf, ragllith yn rhoddi golwg ar gyflwr crefyddol Cymru yn adeg y Diwygiad Protestanaidd yn y flwyddyn 1534 hyd gyfodiad Anghydffurfiaeth. Yna cawn Hanes Anghydffurfiaeth yn Nghymru mewn wyth o bennodau, yn rhoddi adroddiad tra manwl am y gwahanol gyfnodau o 1633 hyd ddechre y flwyddyn hon, sef dau can' mlynedd o amser. Wedi hyny cawn Attodiad, gyda Mynegai cyflawn i holl gynnwysiad y llyfr.

Amlwg yw y costiodd y gwaith hwn ymchwiliad trafferthus a llafur dyfal i'w gyfansoddydd, a hyny, fel y dywed efe, "yn nghanol gofalon lliosog a phryderus golygiaeth weinidogaethol helaeth, a galwadau parhâus gan symudiadau cyhoeddus cysylltiedig â'r enwad y mae ganddo'r fraint o berthyn iddi." Gan mai yn yr iaith Saesoneg y mae'r llyfr, rhaid fod hyny yn mwyhâu y llafurwaith. Nid oes dim yn y dullwedd yn glogyrnog, neu yn Gymreigaidd, dybygem ni, er y bwria yr awdwr ei hun ar drugaredd ei feirniaid o ran feithwedd y llyfr; a mynega efe yr hyn a ddylai fod yn gefnogaeth i Gymry anghyfarwydd â'r "iaith nesaf atom," chwedl y bobl,—"fod ei holl adnabyddiaeth o'r iaith Seisoneg wedi ei gyrhaedd ar ol yr ugeinfed flwyddyn o'i oedran, heb gynnorthwy yr un athraw."

Cyflwynir yr argraffiad hwn i'r Parch-

adigion E. Herber Evans, Caernarfon, David Saunders, A. Jones Parry, a David Evans *(Degar)*, ill tri o Abertawe, ac felly o Annibynwr, Methodist Calfinaidd, Bedyddiwr, a Wesleyad—iddynt hwy fel gweinidogion cynnrychioliadol o'u henwadau neillduol, ac hefyd fel rhai yn gwneyd i fyny o ran oedran a gwasanaeth rwymyn undeb rhwng y cenedlaethau hynach ac ieuengach o weinidogion Ymneillduol Cymru.

Nis gall y darllenydd lai na chael llawer o foddhâd ac o leshâd, o wybodaeth ac o adeiladaeth, wrth ddilyn yr holl hanes a osodir yma ger ei fron, llawer o'r hyn nas gallai ei gael yn y modd hwn yn unlle arall. Yma yn gryno ceir hanes dechreuad a chynnydd holl enwadau Ymneillduol Cymru, golwg ar eu henwogion a chrynodeb o'u gweithredoedd, gyda'r wedd bresennol sydd ar bob enwad. Hwyrach y gallasai rhywun craff ganfod, pe heb weled enw yr awdwr, mai nid Methodist Calfinaidd ydoedd, yr un modd ag y gallesid gweled, yn ddiau, oddiwrth waith cyffelyb gan Fethodist Cymreig, mai nid Annibynwr oedd yntau. "Anhawdd dwyn dyn oddiar ei dylwyth," medd hen ddiareb. Ond y mae cofnodiadau ac ystadegau pob enwad fel eu gilydd yn cael gan Dr. Rees chwareu teg, a'u gosod mewn arbenigrwydd priodol. Ni chawn yma ddwyn ymlaen yr hyn a noda ein cyfaill, y Parch. William Williams, Abertawe, yn ei Raglith i'w *Welsh Calvinistic Methodism*, ynghylch sylw a wna ei gymydog am yr hyn a gyfrifai yn annhegwch yn y tadau Methodistaidd. Aroswn nes y daw allan yr ail argraffiad o'i lyfr dyddorol yntau. Yn y cyfamser hyderwn y bydd corff mawr ein darllenwyr wedi meddiannu y llyfr ehelaeth hwn ar Anghydffurfiaeth Gymreig, ac yn ei farnu drostynt eu hunain.

Caniatäer i ni yma fynegu ein llawenydd o glywed y newydd am wellhâd y doethawr hybarch o Abertawe, ar ol ei anhwyldeb peryglus; ac ni a obeithiwn y cryfheir ac y galluogir ef i lafurio am flynyddoedd lawer eto yn ngwasanaeth ei Arglwydd. Nid yn fuan yr anghofir ei gyfarchiad serchog yn ein Cymanfa Gyffredinol eleni yn Abertawe.

---

COFIANT A GWEITHIAU Y PARCH. ROBERT ELLIS, *Ysgoldy, Arfon, gan y Parch.* JOHN OWEN JONES, *Capel Coch, Llanberis.*

Caernarfon: J. R. Edwards, Argraffydd.

DYN a christion a gweinidog dysyml, yn gwbl ac ei ben ei hun, oedd y diweddar Barch. Robert Ellis o'r Ysgoldy, gydag athrylith a chrefydd ddiammheuol; ac wele yma gofiant o'r fath gymhwysaf am dano, yn ei osod allan yn gwbl fel efe ei hun. Megys y mae'r portread o'i wynebpryd yn nechre y llyfr, felly y mae yr oll a ddywedir am dano ynddo, yn ei ddesgrifio yn gywir fel yr oedd. Yr oedd Cyfarfod Misol Arfon wedi deisyf ar y Parch. J. Owen Jones, mab yn nghyfraith Mr. Ellis, i ymgymeryd â'r gwaith o gasglu ac ysgrifenu y llyfr hwn; ac nis gallesid cael neb â chymaint o addasrwydd ynddo at y gorchwyl; a chyflawnodd ei waith yn fedrus a thrwyadl. Fel y dywed yn ei ragymadrodd, efe a adawodd, hyd y gallai, i Mr. Ellis ddyweyd ei hanes yn ei ddull a'i eiriau ei hun; ac yn ffodus yr oedd efe wedi ysgrifenu cymaint o'i hanes, "fel nad oedd eisieu, wrth adysgrifenu, ond casglu y darnau ynghyd i wneyd un cyfanwaith o honynt."

Wedi y bennod gyntaf, lle y rhydd Mr. Jones hanes dyddorus am yr ardal lle ei ganwyd, mae y penodau dilynol yn cael eu gwneyd i fyny gan mwyaf allan o'r hyn a ysgrifenwyd ganddo ef, a dwy neu dair o'r penodau olaf yn cynnwys adgofion a darluniau o hono gan gyfoedion a chydlafurwyr iddo yn Arfon. Yna ceir ei draethodau arbenig ar Eglwys Drefnus — Eglwys Weithgar — Ein Cyfarfodydd Eglwysig—Adgofion am Ddiwygiad Beddgelert, a'i ysgrifau ar Adfywiadau Crefyddol 1832, 1839—40, ac 1859, ac ar Gyfarfod Misol Sir Gaernarfon, oll yn werth eu darllen lawer gwaith drosodd. Cawn hefyd ychydig o'i bregethau, y rhai, er yn fyrion, ydynt odiaeth, a delw'r pregethwr yn y modd amlycaf arnynt.

Mae y llyfr yn cynnwys 328 o du dalenau, ac mewn llythyren fân, ac felly yn cyflwyno llawer iawn o waith darllen, a'r cwbl yn ddyddorol dros ben, ac yn gyflawn o addysg o'r fath oreu. Mae ynddo wers i bawb,—i bobl ieuainc yn gyffredinol, i wŷr a gwragedd, ac yn enwedig i bregethwyr ieuainc ac i flaenoriaid eglwysig. Ac y mae'r cyfan yn cael eu gosod allan mewn dull gwreiddiol; y meddyliau a'r geiriau yn gynnwynol; ac y mae *originality* yn beth lled ammheuthyn y dyddiau hyn. Nid ydym yn tybied y bydd neb o Fethodistiaid Arfon yn foddlawn heb gael y llyfr hwn i'w meddiant; a chan hyny dylai ein cyfeillion o'r siroedd eraill brysuro i'w brynu, gan ein bod yn credu na bydd yn fuan gopi o hono wedi ei adael. Bwriadwn wneyd sylwadau drachefn arno, canys y mae ei wreiddioldeb a'i deilyngdod yn galw am hyny.

---

# Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

## CYMDEITHASFA Y DINAS, SIR BENFRO,

### AWST 7, 8, A'R 9FED, 1883.

LLYWYDD,—Y Parch. GEORGE WILLIAMS, Llysyfran.

### DYDD MAWRTH, Y 7FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am 3 o'r gloch.*

I. Cymerwyd enwau y cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y cenadwriaethau canlynol.

*O Ddehau Aberteifi:* —Yn Nghyfarfod Misol Bwlchyllan, Mehefin 27 a'r 28ain, penderfynwyd anfon i'r Gymdeithasfa nesaf—"Ein bod yn gyntaf wedi derbyn ymddiswyddiad Mr. John Jones, Tregaron, ac ar ol hyny, wedi hollol ymwrthod âg ef fel pregethwr, wedi i ni gael ychwaneg o oleuni ar ei achos."—JOHN EVANS, *Ysg.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd Mai 23ain, 1883.—1. Cydsyniwyd yn siriol â chais eglwys Bontfaen, i wahodd Cymdeithasfa Tachwedd nesaf i gael ei chynnal yn y lle hwnw.—2. Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd Gorphenaf 4ydd, 1883, penodwyd y Parchn. W. Jones a W. Lewis, gyda Mri. J. Morgan, Llantrisant, a W. John, Bontfaen, i'n cynnrychioli yn Nghymdeithasfa Awst nesaf.—3. Penderfynwyd anfon cais i Bwyllgor y Genadaeth am (1) yr un *grants* i'r lleoedd oeddynt yn derbyn yn flaenorol; (2), am £15 i Penrhiwceibir, am £25 i *fund* y Fro, a £10 i Brynsaddler.—W. J. WILLIAMS, *Ysg.*

*O Sir Benfro:*—Yn Nghyfarfod Misol Llandudoch, a gynnaliwyd ar y 3 a'r 4ydd o Orphenaf, penderfynwyd ar y pethau canlynol gyda golwg ar barhâd hanes ein Cyfundeb:—1. Fod nifer o frodyr yn cael eu penodi mewn Cyfarfod Misol dyfodol, yn bwyllgor i gasglu defnyddiau hanes y Cyfundeb yn y Sir o 1850 hyd yn bresennol, ac hefyd ychydig o hanes y pregethwyr sydd wedi marw yn ystod y 30ain mlynedd diweddaf, am y rhai nad oes dim wedi ymddangos, fel ag i ddwyn allan gyfrol fechan yn goffadwriaeth am danynt, yn ol yr annogaeth sydd wedi ei rhoddi gan y Gymanfa Gyffredinol.—2. Fod cenadwri yn cael ei hanfon i Gymdeithasfa'r Dinas, yn hysbysu ein bod yn bwriadu penodi pwyllgor i'r amcan uchod, ac yn dymuno awgrymu fod y Gymdeithasfa yn gofyn i'r Cyfarfodydd Misol eraill wneyd yr un peth, gyda'r amcan i ddwyn allan gyfrol, neu gyfrolau ychwanegol, yn dwyn ymlaen hanes y Cyfundeb o 1850 hyd yn bresennol; y cyfryw gyfrol, neu gyfrolau, i'w dwyn allan mewn cysylltiad â, ac yn mlwyddyn Trydydd Jubili y Cyfundeb.—W. MORRIS, *Ysg.*

III. Darllenwyd y cenadwriaethau o'r Gymanfa Gyffredinol, sef penderfyniadau XXI., XXIV., XXVI., a XXXIII. (Gweler cofnodau y Gymanfa Gyffredinol yn y DRYSORFA am fisoedd Gorphenaf ac Awst diweddaf.)

IV. Darllenwyd yr ateb canlynol i lythyr a anfonwyd at Henaduriaeth Bristol o berthynas i'r ymraniad yn Brynmawr:—

Bristol Presbyterian Church,
July 10th, 1883.

At which time and place the Presbytery of Bristol met, and was duly constituted, *Inter Alia:* A communication from the Rev. Griffith Davies was read, expressing the views of the Quarterly Meeting of the Welsh Calvinistic Methodist Church, respecting the application to the Presbytery from Brynmawr. The clerk was instructed to acknowledge receipt of said communication, and to state that the Presbytery of Bristol would, in the ordinary course of procedure, have consulted the Association before coming to an ultimate decision, if there had been occasion to do so. Extracted from the minutes of the Bristol Presbytery by J. MORSE, P.C.

Cheltenham, July 11th, 1883.

V. Penderfynwyd anfon cofeb at y Llywodraeth o blaid parhâd y Coleg yn Aberystwyth; a phenodwyd brodyr i'w pharotoi erbyn y cyfarfod cyffredinol boreu dydd Iau.

VI. Penodwyd brodyr i gymeryd rhan yn ngwasanaeth yr ordeinio.

VII. Dewisiwyd cyfeisteddfod i enwi brodyr i'w cynnyg i Gyfarfod y Cynnrychiolwyr i lenwi y swyddi canlynol:—(1.) I fod yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn ddyfodol. (2.) I fod yn Arholydd yr Athrofa.

VIII. Rhoddwyd ystyriaeth i'r hysbysrwydd o Ddehau Aberteifi o berthynas i ddiarddeliad brawd yn y weinidogaeth, a phenderfynwyd,—1. Ein bod yn cadarnhau yr hyn a wnaed gan y Cyfarfod Misol.—2. Fod y Cyfarfodydd Misol o hyn allan i anfon hysbysrwydd i'r Gymdeithasfa yn achos diarddeliad gweinidog. Golygid y byddai hyn yn arbed camddealltwriaeth a dyryswch yn ol llaw.—3. Ein bod yn awgrymu i'r brodyr y blaenoriaid gymeryd i ystyriaeth yn eu cyfarfod hwy, ai ni ddylid anghymeradwyo gwaith blaenoriaid a fyddant yn gofyn i frodyr wedi eu dysgyblu, ac heb eu hadferu yn rheolaidd, bregethu yn eu plith.

IX. Rhoddodd y Parch. D. Evans, B.A., Whitchurch, adroddiad o'r Arholiad Cymdeithasfäol, yn dangos fod agos yr holl ymgeiswyr llwyddiannus yn y Dehendir

wedi eu dewis i'w hordeinio y flwyddyn hon. Deallid fod rhestr o'r enwau wedi ei gosod gan yr arholwyr hynaf yn y coffr lle y cedwir y cyfryw restrau er pan y mae yr arholiad yn unol. Ynglŷn â hyn penderfynwyd gofyn i'r eglwys Saesoneg yn Merthyr gynnal yr arholiad nesaf, gan fod y brodyr yno wedi amlygu dymuniad am hyny o'r blaen.

*Cyfarfod y Cynnrychiolwyr, am 6 30 o'r gloch.*

Yn y cyfarfod hwn etholwyd,—1. Y Parch. T. C. Edwards, M.A., Llywydd Coleg Aberystwyth, i fod yn Llywydd y Gymdeithasfa am y flwyddyn ddyfodol.—2. Mr. R. W. Jones, B.A., Pengam, i fod yn arholydd athrofäol, yn lle y Parch. W. James.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 7 o'r gloch.*

I. Bu sylw ar y genadwri o Sir Benfro, yn ol yr annogaeth sydd wedi ei rhoddi gan y Gymanfa Gyffredinol (pen. xxi. adran 13); a phenderfynwyd ein bod yn gofyn i'r Cyfarfodydd Misol dalu sylw i'r penderfyniad hwn, a threfnu mesurau yn eu plith eu hunain i'w gario allan, fel y gallom gadw coffadwriaeth deilwng o frodyr ymadawedig, a diogelu cymaint o hanes y Cyfundeb ag sydd bosibl.

II. Bu sylw ar feddiannau y Cyfundeb, yn ol yr adroddiad a gyflwynwyd i'r Gymanfa Gyffredinol, a'r penderfyniadau ar hyny. Cafwyd fod rhai o'r siroedd eisoes wedi penodi pwyllgorau tuag at gario allan y penderfyniadau hyn, ac annogwyd y lleill i wneyd yr un modd.

III. O berthynas i'r genadwri ar yr Ysgol Sabbothol, dangoswyd fod mawr eisieu diwygiad mewn amryw bethau yn nygiad ymlaen y sefydliad daionus hwn yn ein plith. Er mwyn cyrhaedd mwy o effeithiolrwydd yn hyn, trefnwyd fod un cyfarfod yn y Gymdeithasfa nesaf yn cael ei neillduo i ymdriniaeth ar y mater.

IV. Penodwyd archwilwyr ar gyfrifon y Genadaeth Gartrefol.

DYDD MERCHER, YR 8FED.

*Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahân, am 8 o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr, ymddyddanwyd â'r brodyr oedd i gael eu hordeinio, am eu profiad gyda golwg ar eu crefydd bersonol a'u cymhelliadau i waith mawr y weinidogaeth: a chynghorwyd hwynt yn ddwys i feithrin cymeriad diargyhoedd a duwioldeb diffuant, a bod yn gywir a difrifol yn y cyflawniad o waith eu swydd.

*Cyfarfod yr Ordeinio, am 10 o'r gloch.*

Yn y cyfarfod hwn neillduwyd y brodyr canlynol i gyflawn waith y weinidogaeth:—W. W. Lewis, Llangors; J. R. Hughes, Talybont; Daniel James, Defynog; T. E. Evans, Brynsaddler; J. Williams, Nantymoel; Lewis Morgan, Bethlehem, Llansamlet; Richard Williams, Abertileri; Watkin Powell, Pontnewynydd; William Williams, Rhymney; Thomas Morgans, New Milford; J. W. Matthews, Mozerah; David Elias, Neath. Dechreuwyd y cyfarfod drwy weddi gan y Parch. G. Phillips, Pontnewynydd. Darllenwyd y rhanau arferol o'r gair a gweddïwyd gan y Parch. W. John, Penybont. Gofynwyd am reoleiddd-dra y dewisiad gan y Llywydd, ac atebwyd yn gadarnhaol gan Mr. Philip Williams, Aberystwyth. Traddodwyd yr anerchiad ar Natur Eglwys gan y Parch. Evan Phillips, Castellnewydd. Gofynwyd y cwestiynau o'r *Cyffes Ffydd* gan y Parch. Griffith Parry, Aberystwyth. Cafwyd arwydd o gymeradwyad y Gymdeithasfa i alwad y brodyr i weini yr ordinhadau o Fedydd a Swper yr Arglwydd yn ein plith. Rhoddwyd y cynghor iddynt gan y Parch. Thomas Rees, Cefn. Diweddwyd â gweddi gan y Parch. Edward Matthews.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am 1 o'r gloch.*

I. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn y Bontfaen, Hydref 9, 10fed, a'r 11eg; Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa i fod am 6 30 prydnawn dydd Mawrth, y 9fed.

II. Rhoddwyd hanes yr Achos yn Sir Benfro gan y Parchn. W. Jenkins, M.A., Tŷddewi, J. D. Symmons, Goodick, a W. Powell, Penfro; ac annogwyd i ymdrech adnewyddol gyda lledaeniad yr achos, yn enwedig i beidio boddloni heb gael mwy o ychwanegiadau at yr eglwysi drwy'r Sir. Ynglŷn â hyn penderfynwyd anfon cofion at y Parch. Thomas Lamb, Abergwaen, yn ei lesgedd a'i henaint, ac at y Parch. Daniel Symmons, yn ngwyneb yr afiechyd disymwth sydd wedi ei gyfarfod.

III. Darllenwyd a chymeradwywyd yr adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid:—

Cadeirydd, Mr. J. Morgan, Llantrisant.—1. Darllenwyd cofnodau y Gymdeithasfa ddiweddaf, a chadarnhäwyd hwynt.—2. Ar ol ymddyddan ar y mater a gyflwynwyd gan y Gymdeithasfa i ystyriaeth y cyfarfod hwn, ynghylch gwahodd pregethwyr i bregethu ag

sydd dan ddysgyblaeth y Cyfarfod Misol, ac heb eu hadferyd yn rheolaidd, penderfynwyd,—Ein bod yn hollol anghymeradwyo gwaith y blaenoriaid hyny sydd yn galw y cyfryw ddynion i bregethu, ac yn barnu y dylai y Gymdeithasfa ddal y Cyfarfodydd Misol yn gyfrifol am oddef yr afreoleidd-dra, ac nid ei osod wrth ddrws y blaenoriaid yn gyffredinol.—3. Etholwyd Mr. Hopkin S. Davies yn Ysgrifenydd am y flwyddyn ddyfodol.—4. Cafwyd ymdriniaeth ar y Genadaeth Gartrefol. Gosodwyd ar y Cadeirydd i osod y mater o flaen y Gymdeithasfa.—5. Diolchwyd i Mr. John Jones, Llanelli, am ei waith fel Ysgrifenwyd yn ystod y flwyddyn a aeth heibio.—ROGER W. JONES, *Ysg. pro. tem.*

IV. Cyflwynwyd adroddiad yr Athrofa gan y Parch. W. James; ac wedi peth ymddyddan, gohiriwyd yr ymdriniaeth hyd dranoeth.

V. Rhoddodd y Parch. Dr. Thomas eglurhâd ar enciliad J. Ceredydd Jones, yr hwn oedd wedi ei dderbyn i fod yn genadwr i fyned allan i Cassia, a hysbysodd fod brawd ieuanc arall, sef John Thomas, Rhostryfan, wedi ei dderbyn gan y Cyfarwyddwyr i fod yn genadwr.

### DYDD IAU, Y 9FED.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa, am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhâwyd penderfyniadau Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa.

II. Mabwysiadwyd y gofeb ganlynol i'w hanfon at y Llywodraeth o blaid parhâd y Coleg yn Aberystwyth:—

"At a Quarterly Meeting of the Calvinistic Methodist Churches of South Wales, representing 504 churches, containing a membership of 48,559, held at Dinas, Pembrokeshire, August 7, 8, and 9th, 1883, it was unanimously resolved,—1. That considering the eminent services rendered to Higher Education in Wales by the University College, Aberystwyth, and the great interest manifested by the country therein, and the suitableness of Aberystwyth, where the college has been for twelve years located, to meet the requirements of Central Wales, without being inconvenient to the more northerly parts of the Principality, we earnestly pray the Government to continue the grant of £4000 per annum thereto, so as to enable the authorities of the college to still carry on the work with vigour and efficiency.—2. That a copy of this resolution be forwarded to Lord Carlingford, and the Right Honourable A. Mundella, M.P., the President and Vice-President respectively of Her Majesty's Council on Education."

III. Bu ymdriniaeth pellach ar adroddiad yr Athrofa, a chymeradwywyd ef:—

*Adroddiad Gweithrediadau y Pwyllgor gynaliwyd yn Trefecca, Mehefin 20, 21, 1883.*

Yr oedd y Swyddogion a'r Cynnrychiolwyr canlynol yn bresennol:—Swyddogion—H. Ll. Harries, Ysw., *Trysorydd;* R. Edwards, Ysw., *Is-Drysorydd;* Parch. W. Howells, *Llywydd;* Parch. J. H. Jones, Ph.D., *Athraw;* Parch. W. James, Parch. Ll. Edwards, M.A., *Arholwyr.* Cynnrychiolwyr—*Aberteifi, Gogledd:*—Mr. D. Lloyd, Aberystwyth. *Penfro:*—Parchn. W. Jenkins, M.A., a D. H. Lloyd. *Brycheiniog:*—Parchn. R. Davies a D. Williams; Mr. W. Jones, Gelli. *Caerfyrddin:*—Mr. Walter Lewis, Llangadog. *Morganwg, Gorllewin:*—Parch. S. Price; Mri. R. Davies, Taibach, a J. Davies, Cwmafon. *Morganwg, Dwyrain:*—Parchn. E. Matthews a R. Morgan; Mri. T. Morgan, Pontypridd, a W. Morgan, Dowlais. *Mynwy:*—Mr. T. Jones-Parry, Abertileri. *Henaduriaeth:*—Parch. T. M. Green; Mr. R. Davies, Merthyr. Etholwyd y Parch. S. Price yn Llywydd.

1. Penodwyd Mri. J. Davies, Cwmafon, a R. Davies, Merthyr, i edrych dros filiau y Nadolig, y rhai oeddynt wedi eu talu, ac i arolygu y cyfrifon. Cafwyd adroddiad eu bod oll yn gywir. Yr un modd edrychwyd dros filiau Mehefin, y rhai oedd yn ddyledus, ac awdurdodwyd y Trysorydd i'w talu. Biliau yr hanner blwyddyn yn terfynu Mehefin 1883—cyfanswm—£71 12s. 3c. Gweler y tafleni am y manylion.—2. Mewn perthynas i'r adeiladau: (1) Hysbyswyd fod rhai cyfnewidiadau yn y deiliaid wedi cymeryd lle. (2) Penodwyd pwyllgor i edrych dros y gwaith lliwio, a phethau eraill oeddynt wedi eu gwneyd, ac i weled pa adgyweiriadau sydd yn angenrheidiol yn y colegdy. (3) Penderfynwyd fod y paentio angenrheidiol i gael ei wneyd o hyn i ddiwedd yr haf.—3. Yn gymaint ag y byddai peidio defnyddio y tai perthynol i'r Cyfundeb fel tai i lettya ynddynt yn lleihâd pwysig ar dderbyniadau Trysorfa yr Athrofa, penderfynwyd ei bod yn ddealledig nad yw yr efrydwyr i drefnu lletty mewn un lle arall nes y byddo y tai hyn wedi eu llanw yn gyntaf.—4. Penderfynwyd rhyddhâu y Parch. D. Williams o'i rwymedigaeth i dalu yr arian andretha dyledus oddiwrtho i'r Pwyllgor.—5. Derbyniwyd bil am £61 15s. 9c. oddiwrth Mr. D. R. Lewis, Dowlais, am barotoi y Weithred Gyfreithiol am Gronfa yr Athrofa, a phenderfynwyd ei dalu.—6. Cafwyd eglurhâd maith gan y Parch. T. M. Green, am ei lafur mewn cysylltiad âg adroddiad Cronfa yr Athrofa a'r Capel Coffadwriaethol, a phenderfynwyd—(1) Fod diolchgarwch gwresocaf y pwyllgor i gael ei gyflwyno iddo am ei ofal a'i ymdrechion. (2) Bod y swm o £10 i gael ei rhoddi iddo am ei wasanaeth mawr i'r Cyfundeb.—7. Penderfynwyd fod y Trysoryddion i brynu *safe* gyfaddas i gadw yr holl Weithredoedd, a phob ysgrifau cyfreithiol cysylltiedig â'r Athrofa. Enwyd y swm o £40 neu £50 fel pris tebygol am un gyfaddas.—8. Penderfynwyd fod Amgueddfa Fethodistaidd i gael ei ffurfio yn Trefecca, a bod lle cyfaddas i gael ei barotoi i dderbyn llythyrau, hen ysgrifau, a phethau eraill o ddyddordeb perthynol i'r Cyfundeb.—9. Fod y pwyllgor yn gofyn yn barchus i'r cyfeillion sydd âg unrhyw bethau o'r natur hyn ganddynt, ar fod

ddynt eu trosglwyddo drosodd i'r amgueddfa, ac yn dymuno hysbysu y derbynir rhoddion gyda diolchgarwch.—10. Fod yr Ysgrifenydd yn cael ei benodi yn Gynnallydd Pwyllgor y Llyfrgell, gyda golwg ar bwrcasu llyfrau newyddion. Coffâwyd fod y pwyllgor yn caniatâu £10 yn flynyddol at hyn.—11. Cafwyd adroddiadau marwl a thra ffafriol gan yr athrawon am lafur ac ymddygiadau yr efrydwyr ar hyd y tymmor, a pha fodd y darfu i bob un o honynt ddilyn yr holl ddosbarthiadau. Hysbyswyd fod dau o honynt yn glâf—E. Evans wedi bod yn analluog i ddilyn ei efrydiaeth am amser maith; J. Jenkins wedi ei analluogi yn ddiweddar. Darllenwyd Tystysgrifau Meddygol o'u hafiechyd. Cafwyd fod dau eraill, sef H. Howe a J. Jeffreys, wedi peidio ymuno â'r holl Ddosbarthiadau fel y dysgwylid iddynt, ac fel y gwnai eraill. Gorchymynwyd iddynt ymddangos ger bron y Pwyllgor, a chafwyd eglurhâd ganddynt, yr hwn a ystyrid ar y cyfan yn foddhäol.—12. Daeth cais oddiwrth ddau o'r Efrydwyr, sef J. E. Harris (y drydedd flwyddyn), a R. Jones (ail flwyddyn), am ganiatâd i ymadael â'r Athrofa er mwyn myned i Princeton College, America. Cafwyd tystiolaethau uchel o'u gallu a'u hymroddiad fel Efrydwyr, ac amlygid gofid o herwydd eu colli o'r Athrofa; ond yn ngwyneb eu bwriad hwy caniatäwyd iddynt eu cais, a dadganwyd dymuniad da am eu llwyddiant yn y dyfodol.—13. Rhoddwyd adroddiad cysurus am yr Efrydwyr oeddynt yn myned allan o'r Athrofa, a darllenwyd eu henwau:—H. Howe, wedi derbyn galwad Tynewydd, Morganwg; J. Jeffreys; J. R. Davies, yn myned i Troedyrhiw, Morganwg; T. Thomas, wedi cael galwadau ond heb ateb yr un eto; E. Evans; W. Mendus, wedi derbyn gwahoddiad Casgwys a Gosen; J. C. Fergusson.—4. Arholwyd 18 o Ymgeiswyr am dderbyniad i'r Athrofa. Bu 9 yn llwyddiannus a derbyniwyd hwy:—J. M. Jones, B. T. Jones, Gorllewin Morganwg; D. Williams, Gomer Rees, Dwyrain Morganwg; E. Williams, W. Davies, Caerfyrddin; J. Thomas, Deheu Aberteifi; T. J. Davies, Brycheiniog.—15. Caniatäwyd i Peter Morse, Sir Benfro, sefyll ei Arholiad, ac os bydd yn llwyddiannus, bod iddo gael ei dderbyn i'r Athrofa.—16. Penderfynwyd i Bwyllgor y Nadolig gyfarfod yn Trefecca, am 11 bore dydd Iau, Rhagfyr 20fed, 1883. Hefyd fod Arholiad nesaf yr efrydwyr i ddechre am 6 o'r gloch prydnawn dydd Llun, Mehefin 23ain, a bod Pwyllgor Mehefin i'w gynnal dydd Mercher, Mehefin 25ain, am 3 o'r gloch, ac i barhâu i'r dydd Iau canlynol.—17. Dymunwyd adgofio y Gymdeithasfa am ethol Arholydd yn lle y Parch. W. James.—18. Penderfynwyd i'r Parch. G. Phillips, Pontnewynydd, draddodi yr Anerchiad i'r efrydwyr y flwyddyn nesaf.—19. Darllenwyd Adroddiadau yr Arholwyr, a rhanwyd £60 yn wobrau rhwng yr efrydwyr blaenaf.—20. Rhoddwyd anerchiad ymadawol gan y Cadeirydd i'r efrydwyr oedd yn ymadael â'r Athrofa.—21. Holwyd y gofyniadau arferol i'r Ymgeiswyr, a chafwyd atebion cadarnhäol ganddynt oll. Gofynodd Mr. W. Jones, Hay, a oeddynt yn Ddirwestwyr, a chafwyd atebion cadarnhäol ganddynt oll.—22. Hysbyswyd fod tymmor nesaf yr Athrofa i ddechreu dydd Llun, Medi 3ydd.—23. Anerchiad gan y Parch. E. Matthews.—24. Penderfynwyd cyflwyno diolchgarwch (1) i'r Arholwyr, (2) i'r Trysoryddion, (3) i'r Parch. E. Matthews am ei anerchiad, (4) i'r Cadeirydd. —Hysbysodd Mr. R. W. Jones, Pengam, fod Peter Morse wedi pasio yr Arholiad am dderbyniad i'r Athrofa.

Ynglŷn â hyn rhoddwyd rhybudd gan y Parch. Joseph Evans, Tredegar, y byddai iddo gynnyg yn y Gymdeithasfa nesaf, fod cyfres o chwech neu wyth o Ddarlithiau, mwy neu lai, i gael eu traddodi bob blwydd, yn yn Athrofa Trefeca ar ryw bwnc ynglŷn â Hanes, Ffurflywodraeth, neu Athrawiaethau ein Cyfundeb, neu Hanes neu Egwyddorion Anghydffurfiaeth, y Darlithydd i gael ei appwyntio gan y Gymanfa.

IV. Cyflwynwyd yr Adroddiad canlynol gan Gyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol, a chymeradwywyd ef:—

Cynnulledig yn Ysgoldŷ Capel Heol-y-Dŵr, Caerfyrddin, Awst 6ed, 1883. Llywydd:—Mr. Alderman Philip Williams, U.H.

Wedi taflu cipdrem ar y Casgliadau, a chael ar ddeall nad yw cyfanswm y derbyniadau o'r gwahanol Siroedd wedi cyrhaedd graddfa uwch na'r flwyddyn ddiweddaf, golygwyd nad diogel addaw i'r amrywiol leoedd sydd dan nawdd y Genadaeth lawer yn fwy eleni na'r flwyddyn flaenorol.—Wedi cymeryd i ystyriaeth bwyllog sefyllfa pob lle ar ei ben ei hun, penderfynwyd fod Aberafon i dderbyn £10, Aberfan £12, Abergavenny £20, Abertillery £15, Begelley, &c., £27 10s., Blaina £12 10s., Blaenrhondda £12, Brynmawr £17 10s., Brilley £20, Ysgol Ddyddiol eto £10, Burnett's Hill £20, Neath £25, Cwmogwr £20, Dowlais £20, Earlswood £5, Ebbw Vale a Beaufort £30, Garn Fach £12, Gilead a Wallaston, &c., £12 10s. Gower Road £5, Llantrisant £20, Llangennech £8, Llandrindod £35, Llandysul £20, Middlesborough tra dan arolygiaeth Cyfarfod Misol Gogledd Aberteifi i dderbyn £20, New Radnor £8, New Milford £7 10s., New Tredegar £5, Bargoed £15, Pandy £7 10s., Penarth, gyda chymhelliad cryf i ymofyn yn ddioed am Weinidog, i dderbyn £20, Penybont-ar-Ogwy £40, Pontypool £25, Porthcawl £10, Penygroes £7 10s., Roath £20, Tredegar £15, Tenby £17 10s., Trimsaran £13, Tynewydd £10.—Fod North Risca o hyn allan yn ddadgysylltiedig oddiwrth Nazareth, Abercarn, ac o'r adeg y ceir yn y lle blaenaf Weinidog sefydledig, yr hwn sydd i bregethu yn y lle o leiaf ddeugain Sabboth yn y flwyddyn, rhoddir £25 i gynnorthwyo gwneuthur i fyny ei gyflog. Rhoddir £25 i Mountain Ash ar yr un ammod; Waunifor a New Inn £20, Gelli £17 10s., Cwmcorwg £5, Gilfach-goch £15. Addawyd £12 tuag at yr ymgais i gychwyn achosion newydd yn Crumlin a Phontnewydd. Addawyd £15 at achosion Seisonig yn Llandeilo, gydag ystyr-

iaeth fod ymdrech deg yn cael ei wneuthur i sefydlu yno achos yn yr iaith Saesoneg, drwy gael pregethu cyson ddwy waith ar y Sabbothau, a chynnaliad difwlch moddion eraill yn Sabbothol ac wythnosol; Brynsaddler i dderbyn £5, Ysbytty £10. —Deallir fod *grant* pob lle sydd i dderbyn o'r newydd oddiwrth y Genadaeth, i ddechreu nid cyn dechreu y chwarter nesaf. Crybwyllwyd am gynllun Dwyrain Morganwg er hyrwyddiad efengyleiddiad y Fro. Methai y Pwyllgor ar hyn o bryd gael gweledigaeth eglur ar y mater. Hyderir y gwelir gwawr goleuni gwell ar hyn pan yr ymgyferfydd y Cyfeisteddfod y tro nesaf, drwy fod ychwanegiad yn y casgliadau drwy'r Siroedd oll y flwyddyn ddyfodol.—Penodwyd brodyr i ymweled â'r Gorsafoedd. Enwyd y Parch. J. Rees Owen, Penfro, a Mr. W. Jones, Newport, i ymweled â'r eglwysi hyny yn Mynwy a Morganwg sydd dan nawdd y Genadaeth; y Parch. J. Morgan Jones, Caerdydd, a Mr. J. Jones, Manchester House, Merthyr, i ymweled â Gorsafoedd Maesyfed a Henffordd; y Parch. John Watkins, Gorwydd, a Mr. Alderman Thomas, Caerfyrddin, i ymweled âg eglwysi cenadol Sir Benfro; a'r Parch. Evan Morris, Aberaeron, i fyned i Sir Gaerfyrddin i gyflawni yr un gwasanaeth yn nghwmni rhyw frawd o flaenor.—Cyflwynwyd diolchgarwch y Pwyllgor i Mr. Alderman Williams, am lywyddu mor ddeheuig, ac i eglwys Heol-y-Dŵr am eu parodrwydd, ar gais y Gymdeithasfa, i roesawu a lletṫya aelodau y Pwyllgor.—D. THORNE EVANS, *Ysg.*

V. Gwnaethpwyd sylwadau parchus mewn coffâd am y Parch John Bywater, Abertileri. Dangoswyd ei fod yn hynod am burdeb ac addfwynder ei gymeriad, ac am ei wasanaethgarwch i'r Achosion Seisonig yn gystal a'r rhai Cymreig.

G. DAVIES, *Ysgrifenydd.*

### *Y Moddion Cyhoeddus.*

Dydd Mercher, am dri o'r gloch prydnawn, yn nghapel y Methodistiaid, pregethodd y Parch. W. John, Pen y bont, a Dr. Harries Jones; ac yn nghapel y Bedyddwyr, y Parchn. David Evans, M.A., Whitchurch, a G. Parry, Aberystwyth; ac am 6, yn y Dinas, y Parchn. J. Watkins, Gorwydd, a W. James, Aberdâr; ac mewn capelau yn y cymydogaethau,—y Parchn. Dr. O. Thomas, Dr. Harries Jones, Edward Matthews, Evan Phillips, T. C. Edwards, M.A.; J. E. Davies, M.A., B.Sc.; D. Roberts o Penycae, a W. Lewis o Bontfaen.

Dydd Iau, yn y capel, am 6 yn y bore, y Parchn. Joseph Evans a George Phillips. Ac ar y maes, am 10, y Parchn. E. Matthews a Dr. O. Thomas; am 2, y Parchn. E. Phillips a T. C. Edwards, M.A.; ac am 6, y Parch. J. E. Davies, M.A., a Dr. Thomas.

---

## CYMDEITHASFA BANGOR

### AWST 28, 29, A'R 30AIN, 1883.

### LLYWYDD,—Y Parchedig J. WILLIAMS, Rhyl.

### DYDD MAWRTH, AWST 28AIN.

### *Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 2 o'r gloch prydnawn.*

I. Galwyd enwau y Cynnrychiolwyr.

II. Derbyniwyd y Cenadwriaethau canlynol o'r Cyfarfodydd Misol, &c.

*O Gyfarfod Misol Môn:—Ad-drefniad terfynau y Cyfarfodydd Misol.*—Tra mai ydym yn teimlo fod y mater hwn yn dal perthynas uniongyrchol â ni fel Cyfarfod Misol, eto gan ei fod wedi cael ei ddwyn i sylw y Gymdeithasfa, ein bod yn barnu yn briodol iddo gael sylw, trwy benodi nifer o frodyr yn gyfeisteddfod er rhoddi ystyriaeth iddo.—JOHN WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Arfon:*—Yn y Cyfarfod Misol a gynnaliwyd yn Salem, Gorphenaf 2, penderfynwyd—1. Ein bod yn gofyn caniatâd y Gymdeithasfa i werthu rhan o dir y Cyfundeb yn y Waenfawr.—2. Gyda golwg ar y genadwri i Gymdeithasfa y Wyddgrug o Sir Fflint ar ad-drefnu terfynau y Cyfarfodydd Misol, penderfynwyd—Ein bod yn gweled yn briodol i'r Gymdeithasfa benodi Pwyllgor i ystyried y mater. Eto, yn Cwmyglo, Awst 18eg, penderfynwyd—Ein bod yn cyflwyno Mr. John Thomas, Rhostryfan, yr hwn sydd wedi ei gymeradwyo fel ymgeisydd Cenadol i'w anfon i Fryniau Cassia, i'w ordeinio i gyflawn waith y weinidogaeth.—T. GWYNEDD ROBERTS, *Ysgrifenydd.*

*O Leyn ac Eifionydd:*—Mewn atebiad i gais y Gymdeithasfa ynghylch ad-drefniad y Cyfarfodydd Misol, penderfynwyd yn Nghyfarfod Misol Llangian, a gynnaliwyd Awst 6 a'r 7fed, nad ydym ni ar hyn o bryd yn gweled anghen ad-drefniad yn Lleyn ac Eifionydd, ond yr ydym yn barnu mai priodol i eglwys unigol a ddewisai ymadael âg un Cyfarfod Misol i ymuno âg un arall fyddai cael cydsyniad a chaniatâd y Cyfarfod Misol â'r hwn yr ymadewir, a chadarnhâd y cyfryw ganiatâd gan y Gymdeithasfa.—D. ROBERTS, *Ysg.*

*O Gyfarfod Misol Dyffryn Conwy:*—1. Ein bod yn dymuno galw sylw y Gymdeithasfa drachefn at y priodoldeb o gael cynllun unffurf i'r Cyfundeb o gadw Cyfrifon Eglwysig.—2. Ein bod yn ystyried y byddai ychydig ad-drefniad ar derfynau presennol y Cyfarfodydd Misol yn dra dymunol a manteisiol, ac yn dymuno ar i'r Gymdeithasfa drefnu moddion i ddwyn hyny oddiamgylch.—J. WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd:*—Yn Nghyfarfod Misol Dinbych, Mehefin 28, penderfynwyd,—"Fod dymuniad yn cael ei anfon i'r Gymdeithasfa ar iddi ddadgan ei chymeradwyaeth o fwriad Mr. Dillwyn i ddwyn Mesur i'r Senedd nesaf er dadsefydlu

dadwaddoli yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru."—Yn Nghyfarfod Misol Cefn Meiriadog, Awst 2, penderfynwyd,—"Ein bod yn ymlynu wrth yr egwyddor o fod yr holl Siroedd yn ceisio yn y lle cyntaf dyfod i ddealltwriaeth â'u gilydd gyda golwg ar y cymunoldeb o fod eglwysi neillduol yn newid y Cyfarfodydd Misol i ba rai y perthynent; ond lle byddo hyny ar ol pob ymdrech wedi methu, fod y ddau Gyfarfod Misol yn gofyn am gymhorth y Gymdeithasfa, i benderfynu pa beth yn wyneb yr amgylchiadau a'r tystiolaethau a fyddai yn ddoeth iddynt ei wneyd."—Dymunir gwneyd yn hysbys hefyd y bwriedir cyhoeddi papyr Mr. P. Roberts, Llanelwy, yr hwn a ddarllenwyd yn Nghymdeithasfa Llanfyllin, yn y ffurf o bamphled. —B. HUGHES, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Dwyrain Meirionydd:* —Yn Nghyfarfod Misol Cynwyd, Gorphenaf 3 a'r 4, 1883, bu ymddyddan am y genadwri "Am gael ad-drefniad ar derfynau y Cyfarfodydd Misol;" a barnwyd mai gwell ar hyn o bryd yw gadael pethau fel y maent.—E. PETERS, *Ysgrifenydd.*

*Gyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd:* —Gyda golwg ar y mater o "Ad-drefniad terfynau y Cyfarfodydd Misol," penderfynwyd—"Ein bod ni yn foddlawn ar bethau i fod fel y maent."—R. OWEN, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Trefaldwyn Isaf:* - Yn atebiad i'r genadwri o Gymdeithasfa y Wyddgrug o berthynas i ad-drefniad terfynau y Cyfarfodydd Misol, penderfynwyd—Ein bod yn barnu mai buddiol fyddai ad-drefnu terfynau rhai o'r Cyfarfodydd Misol, ac i'r Gymdeithasfa benodi Pwyllgor i ystyried hyn. —D. PIERCE, *Ysgrifenydd.*

*O Gyfarfod Misol Llundain:*—13 Thornhill Crescent, Barnsbury, Llundain, Awst 15, 1883.—ANWYL FRODYR A THADAU,—Ar ddymuniad ein Cyfarfod Misol diweddaf yr ydym yn anfon yr ychydig linellau hyn er cydnabod yn ddiolchgar eich caredigrwydd mewn anfon y brodyr yn gyfeisteddfod i derfynu yr anghydwelediad rhyngom âg eglwys Nassau Street o barth i'r tŷ a'r eiddo yno. Yr ydym hefyd yn dadgan ein diolchgarwch i'r brodyr hyny am eu hynawsedd yn yr ymdriniaeth, ac yn gobeithio na fydd anghen am eu gwasanaeth yn y modd hwnw mwyach.—Gofynir caniatâd i werthu Capel Nassau Street a Chapel Jewin Newydd yn Llundain.—Ydym, anwyl frodyr, yr eiddoch dros y Cyfarfod Misol,—MORGAN MORGAN, *Llywydd;* JOHN W. JONES, *Ysg.*

*O Gyfeisteddfod Gweithiol y Genadaeth Dramor:*—Penderfynwyd yn nghyfarfod y Cyfeisteddfod Gweithiol neithiwyr, fod cenadwri yn cael ei hanfon i'r Gymdeithasfa i ofyn am awdurdod i ordeinio Mr. John Thomas. (Mae yr ordeiniad i gymeryd lle yn Nghyfarfod Misol Arfon, am yr hyn y rhoddir hysbysrwydd pellach eto.)—JOSIAH THOMAS, *Ysgrifenydd.* Liverpool, Awst 23, 1883.

*O'r Gymanfa Gyffredinol:*—Penderfyniad XXI (adran 13), XXIV., XXVI., XXXII.

III. Penderfynwyd rhoddi caniatâd i werthu tir perthynol i'r Cyfundeb yn y Waenfawr, yn ol y cais o Gyfarfod Misol Arfon.

IV. Penderfynwyd rhoddi caniatâd i werthu capel Nassau Street, Llundain.

V. Darllenwyd y llythyr o Gyfarfod Misol Llundain, a chafwyd adroddiad gan Mr. Thomas Lewis o'r hyn a wnaed gan y Cyfeisteddfod a benodasid i gynnorthwyo y brodyr yn Llundain i benderfynu achos oedd mewn dadl rhwng y Cyfarfod Misol âg eglwys Nassau Street, a gwnaeth Mr. Lewis yn hysbys gynnwysiad y penderfyniadau y bwriadai ar ran y Cyfeisteddfod eu cynnyg i'r Gymdeithasfa drannoeth. Tystiai Mr. R. Davies o Lundain fod yr hyn a ddywedai Mr. Lewis ar yr achos hwn yn hollol gywir. Ar gynnygiad y Parch. J. Hughes, D.D., yr hwn a eiliwyd gan y Parch. Evan Williams, Morfa Nefyn, penderfynwyd fod diolchgarwch y Gymdeithasfa yn cael ei gyflwyno i'r brodyr fu yn Llundain, a'n bod yn derbyn eu hadroddiad gyda llawenydd.

VI. Galwyd sylw at benderfyniad a basiwyd mewn Cymdeithasfa yn Llanerchymedd yn y flwyddyn 1877, yn annog amryw leoedd i feddwl am sefydlu achosion Seisonig. Wedi cael syniad amryw frodyr o amrywiol Siroedd am y priodoldeb o symud ymlaen gyda sefydlu achosion Seisonig, a chael annogaethau cryfion i beidio bod yn rhy hwyrfrydig gyda hyn, penderfynwyd anfon cenadwri ar y mater at y gwahanol Gyfarfodydd Misol, yr hon a welir yn nghofnodau cyfarfod y Gymdeithasfa ddydd Mercher.

VII. Dygwyd cais am ordeinio Mr. John Thomas, Rhostryfan, ymlaen. Rhoddwyd gair o hysbysiad am dano ef, ac am Mr. J. C. Jones, Rhyl, gan y Parch. Josiah Thomas, M.A. Hysbysodd mai rhyw lwfrdra yn ei feddwl ef ei hun oedd y prif achos na ddaethai Mr. J. C. Jones ymlaen i gael ei ordeinio yn yr Wyddgrug, a'r achos iddo adael y wlad mor ddisymwth. Hysbysodd fod y Pwyllgor Gweithiol wedi cael tystiolaethau hynod o ffafriol oddiwrth liaws o bersonau am Mr. John Thomas, a'u bod mewn canlyniad, ac yn ol awdurdodiad y Gymanfa Gyffredinol, wedi penderfynu ei anfon ef allan i Cassia. Yr oeddynt wedi cael awdurdod gan y Gymanfa Gyffredinol yn Abertawe i anfon un arall gyda Mr. J. C. Jones os gwelent eu ffordd yn glir i wneyd hyny. Yn awr, gan fod Mr. J. C. Jones yn tynu yn ol, y maent yn penderfynu anfon Mr. John Thomas ei hunan, ac yn cefnogi y cais o Arfon ar iddo gael ei ordeinio trwy awdurdodiad y Gymdeithasfa hon. Cafwyd tystiolaeth ffafriol i Mr. John Thomas gan y Parch. Rees Jones, y Parch. T. Gwynedd Roberts, a Mr. W. Ll. Jones, Henllan, Fourcrosses.

Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa yn

awdurdodi ordeinio Mr. John Thomas yn Nghyfarfod Misol Arfon, ar yr amser y cyttunir arno gan y brodyr o Arfon a'r Cyfeisteddfod Gweithiol yn Liverpool.

VIII. Cafwyd ymdriniaeth faith ar y pwnc o ad-drefniad terfynau y Cyfarfodydd Misol, a'r priodoldeb o benodi pwyllgor i ystyried hyny. Yr oedd y llais o'r Siroedd, fel y gwelir oddiwrth y cenadwriaethau, yn amrywiol, ac hefyd yn anghyflawn. Wedi cryn drafodaeth, cyttunwyd ar benderfyniad yn dadgan nad ydym yn gweled angenrheidrwydd am ad-drefniad cyffredinol, yr hwn a welir yn llawn yn nghofnodau Cyfarfod y Gymdeithasfa ddydd Mercher.

IX. Cyttunwyd i roddi llythyr cymeradwyaeth i'r Parch. Owen Jones, M.A., Drefnewydd, ar ei ymweliad âg America.

X. Cyttunwyd i adael y genadwri o Ddyffryn Conwy o barth cael llyfrau unffurf i gadw cyfrifon, &c., o dan ystyriaeth hyd y Gymdeithasfa nesaf.

XI. Hysbyswyd am fwriad Cyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, o argraffu y papyr a ddarllenwyd gan Mr. P. Roberts yn Nghymdeithasfa Llanfyllin, yn y ffurf o bamphled, ac y gall yr holl Gyfarfodydd Misol, os byddant yn dymuno, gael nifer o gopiau o honynt, ond anfon at y Parch. Benjamin Hughes, Llanelwy.

XII. Cafwyd ymddyddan maith ar y genadwri o Gyfarfod Misol Dyffryn Clwyd, yn dymuno ar i'r Gymdeithasfa ddadgan ei chymeradwyaeth o fwriad Mr. Dillwyn o ddwyn cynnygiad i'r Senedd i ddadsefydlu a dadwaddoli yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru. Cyttunwyd ar sylwedd penderfyniad i'w gymeradwyo gan y Gymdeithasfa, a dymunwyd ar y Parchedigion Daniel Rowlands, M.A., William James, B.A., a Mr. Edward Davies, Llandinam, i dynu allan y penderfyniad a'i gyflwyno i'r cyfarfod dranoeth.

XIII. Penderfynwyd fod Mr. Edward Griffith, U.H., Dolgellau, a Mr. Edward Davies, U.H., Llandinam, i archwilio cyfrifon Trysorydd y Gymdeithasfa. Dymuna Trysorydd y Gymdeithasfa adgofio Trysoryddion y Cyfarfodydd Misol fod yr adeg wedi dyfod iddynt anfon eu taliad i mewn iddo ef.

XIV. Penderfynwyd cyflwyno y cenadwriaethau o'r Gymanfa Gyffredinol i sylw dyfal y Cyfarfodydd Misol.

Oedwyd sylwi ar XXXII. hyd y Gymdeithasfa nesaf, gyda dealltwriaeth y bydd ymdriniaeth ar yr Ysgol Sabbothol yn y Gymdeithasfa nesaf, yn ol hen arferiad y tadau yn Nghymdeithasfa Rhagfyr.

XV. Rhoddwyd rhybudd y byddid yn cynnyg gwelliant ar Adroddiad y Pwyllgor i ad-drefnu cyfarfodydd y Gymdeithasfa pan y cynnygid ef i gymeradwyaeth y Gymdeithasfa dranoeth.

## Dydd Mercher, Awst 29ain.

*Cyfarfod y Pregethwyr am 10 o'r gloch.*

Ymdriniwyd am y pwys o gyfaddasu y weinidogaeth i'r oes.

Sylwyd y gallai y mater awgrymu syniad na ellid ac na ddylid ei gymeradwyo, sef y syniad isel y dylem fod yn weision i amgylchiadau ein hoes, a chyfaddasu ein gwasanaeth cyhoeddus i fympwyon dynion. Mae yn debyg mai y modd salwaf o bregethu yn y byd heddyw ydyw y "pregethu i'r dyddiau"—"pregethu i'r amseroedd." Y mae rhai o'r Saeson, rhyw ddosbarth o honynt, yn awyddus iawn i sylwi ar y ddygwyddiadau fyddo yn cymeryd lle, trwy bregethu arnynt; a'r pregethau hyn gan amlaf yw y pregethau tlotaf. Wrth sylwi ar gyfaddasu y weinidogaeth at yr oes, nid y math yma o gyfaddasu ydym i feddwl am dano o gwbl. Y weinidogaeth fwyaf cyfaddas i unrhyw oes ydyw y weinidogaeth gyfaddas i bob oes. Y pregethu goreu i ddynion yn eu holl amrywiaeth ydyw y pregethu goreu i ddyn. A'r peth pwysig mewn gweinidogaeth ydyw, fod y pregethwr yn credu ac yn teimlo gwirioneddau tragywyddol—y gwirioneddau mawrion am Dduw ac am Iesu Grist. Y ddarpariaeth oreu i wneyd dyn yn bregethwr i'w oes ei hun ydyw, crediniaeth ddofn yn y gwirioneddau tragywyddol yna — gwirioneddau sydd yn gyfaddas i gyfarfod pob oes, a'r gwirioneddau sydd yn sylwedd amod gweinidogaeth yr efengyl.

Ond ar ol cofio hyna, dylai cwestiwn arall ddyfod dan ein hystyriaeth. Mae rhyw ymgyfaddasiad i fod ar y weinidogaeth i'r oes y mae dyn yn byw ynddi. Onid oes cyfeiriad at yr egwyddor hon yn y Testament Newydd mewn lleoedd felly? "Yn iawn gyfranu gair y gwirionedd;" "Pwy gan hyny sydd was ffyddlawn a doeth, yr hwn a osododd ei arglwydd ar ei deulu, i roddi bwyd iddynt mewn pryd?" Mae rhyw brydlondeb a chyfaddasrwydd i gyfarfod âg anghenion gwahanol amseroedd, ac y mae hyn i fod yn perthyn i weinidogaeth y gair. Cawn engraifft a'r ddau beth hyn yn yr apostol Paul fel pregethwr. Yr un oedd ei dystiolaeth ef ymhob man: Iesu Grist a hwnw wedi ei groeshoelio; eto yr oedd efe yn ei chymhwyso yn ol anghenion gwahanol amseroedd a gwahanol leoedd. Nid yr un fath yr oedd yn pregethu yn Antiochia yn Pisidia âg yn Athen. Yn Antiochia, lle yr oedd y gwrandäwyr yn Iuddewon, y mae yn dilyn hanes y genedl trwy yr oesau, ac yn dangos ymddangosiad Crist fel pwynt yr hanes hwnw: "Ac yr ydym yn efengylu i chwi yr addewid a wnaed i'n tadau, ddarfod i Dduw gyflawni hon i ni

eu plant hwy, gan iddo gyfodi yr Iesu." Ond ffurf arall wahanol sydd ar ei bregethau yn Athen a Chorinth, lle y mae yn cymhwyso ei genadwri at athroniaeth. Yn yr Epistolau at y Corinthiaid, gwelir hyn yn y radd uchaf yn ngweinidogaeth yr apostol. Pa fodd y dylem ni ei chymhwyso yn Nghymru, sydd gwestiwn arall.

Nid hawdd yw gwybod pa weinidogaeth sydd yn fwyaf cyfaddas at ein dyddiau ni. Ond a ydym ni yn ceisio deall ein hamseroedd? A ydym yn ceisio adnabod pa fath amseroedd yr ydym yn byw ynddynt? Mae yn hawdd iawn deall beth ydyw tuedd yr oes yn Lloegr; ond y mae yn fwy anhawdd deall beth ydyw yn Nghymru. Gall amryw o honom ddyweyd pa fath ydyw ffurf anghrefydd a ffurf ammheuaeth yn awr yn Lloegr, a pheth yw y gwahaniaeth rhwng y ganrif hon a'r ganrif o'r blaen. Gallwn ddyweyd pa mor ofer yw ymosod ar anghrefydd yr oes hon yn yr un dull âg y gwneid yn erbyn anghrefydd y ddeunawfed ganrif. Ond beth ydyw yn Nghymru? Mae tôn yn myned dros y deyrnas, ac anmhosibl yw ein bod ni yn cael dianc rhagddi, er nad yw yn amlwg yn y golwg. Y ffurf gyntaf a welir ar anffyddiaeth yn Nghymru yw diystyru sefydliad Dwyfol,—tuedd i ddiystyru gweinidogaeth y gair. Dyna anffyddiaeth yn dechreu dyfod i'r golwg.

Teimlir fod gwahaniaeth rhwng ystâd pethau yn awr â'r hyn ydoedd pan oedd rhai o honom yn blant. Y pryd hwnw nid oedd ond dau allu yn ymladd am feddiant o'r wlad: Crist a'r diafol, crefydd ac anfoes. Nid oedd ond dau le i ddenu y bobl: y capel a'r dafarn. Ond mor wahanol ydyw yn awr. Mae yma lawer o bethau eraill wedi dyfod i mewn i'r canol. Mae cyfarfod llenyddol yn y fan hon, eisteddfod yn y fan arall, ac "arwest," beth bynag ydyw hwnw, mewn lle arall, a *fancy fair* mewn rhywle arall. Dichon na ddylid dyweyd dim yn eu herbyn—eu bod yn gymdeithion gwareiddiad uchel yr oes; ond y maent yn llithio meddwl yr ieuainc oddiwrth dduwinyddiaeth a gweinidogaeth y gair, tra nad oedd yn yr hen amser ddim i dynu bryd ein pobl ieuainc. Y mae sefyllfa y pregethwyr ieuainc, gan hyny, yn wahanol i'r hyn ydoedd ddiwedd yr oes o'r blaen. Mae eisieu mwy o nerth yn eu pregethau er cadw i fyny urddas y weinidogaeth. Dylid cydnabod fod llawer o bethau da yn ysbryd yr oes hon. Edrycha rhai ar ysbryd yr oes fel yn hollol bydredig. Mae hyny yn *libel* ar yr oes. Y mae yr oes hon yn rhan o hanes y byd, ac y mae rhan o'r da yn ein hoes ni. Hanes mawr pob oes ydyw hanes y gwirionedd yn ymladd. Nid yw yn cael ei ffordd, ac weithiau y mae yn cael gwrthwynebiad mawr iawn.

Mae gwirionedd yn ymladd yn yr oes hon. Cydnabyddir fod elfen o wirionedd yn nghyfeiliornadau yr oes. Tuedd yr oes bresennol ydyw galw sylw y wlad oddiwrth hen athrawiaethau dadguddiad at rywbeth mewn natur. Yr hyn a ddywedir yw fod digon wedi ei ddyweyd am Dduw am yspaid, ac y dylid sylwi mwy ar natur. Dylem ninnau ddangos fod Duw mewn natur. Ystyr yr ymadrodd "pregethu i'r oes" ymhlith y Saeson ydyw pregethu rhywbeth y mae y bobl yn ei hoffi—gofalu peidio dyweyd dim sydd yn groes i deimlad y bobl. Nis gellir pregethu y Bibl yn y dull hwnw. Dywed y Bibl bethau anhyfryd iawn, ac ni ddylai hyny golli o'n gweinidogaeth ninnau. Un o nodweddau yr oes yr ydym yn byw ynddi yw ystyried fod pob peth i'w ddadleu, a dim i'w gymeryd yn ganiataol. Dyma sydd yn dyfod i'r golwg yn y cylchgronau Seisonig—y *Contemporary Review*, a'r *Nineteenth Century*. Ynddynt ceir dynion galluog fel Herbert Spencer a Manning yn dadleu pynciau o bob ochr yn alluog. Un o'n peryglon ni yw crefyddolrwydd anffyddiaeth yr oes. Creda rhai fod yn bosibl bod yn grefyddol heb Dduw personol. Y mae llawer i'w cael yn addoli *humanity*, yn byw yn sanctaidd yn ol eu syniad hwy am sancteiddrwydd. I gyfarfod y teimlad hwn, rhaid i'r pregethwr feddu sancteiddrwydd uwch, a bâr i'r gwrandawyr gredu fod rhywbeth gwell yn bod na'r anffyddiaeth sydd ynddynt hwy.

Un o nodweddau yr oes yw ymgais i wneyd ysgariaeth rhwng crefydd a moesoldeb, neu yn hytrach cyhuddiad yn erbyn Cristionogaeth ei bod hi yn eu gwahanu. Dywed yr anffyddwyr nad oes gan Gristionogaeth ddim i'w ddyweyd ond yn erbyn meddwdod a halogi y Sabboth—rhyw ddau neu dri o ddrygau. Am feusydd eang moesoldeb, dywedant nad yw Cristionogaeth yn cyffwrdd â hwynt. A ydyw hyn yn peidio tarddu oddiar nad yw y pregethwyr yn dwyn pynciau goreu crefydd yn eu heangder i gyfarfod âg angenion dyn? Y mae yn wir mai peth anhawdd iawn yw hyn. Gellir clywed pregeth dda ar foesoldeb heb raid am efengyl i'w phregethu. O'r ochr arall, gellir pregethu yr efengyl am y berthynas rhwng y dyn â'r byd a ddaw heb fod fawr berthynas rhyngddi âg ysbryd moesoldeb. Dylid pregethu yr efengyl yn y fath fodd ag y byddo bywyd dynion, yn yr ystyr eangaf o hono, yn teimlo fod a fyno gwirioneddau yr efengyl âg ef. Dylem wylied am ystâd foesol ein cynnulleidfaoedd, a chyfaddasu y weinidogaeth i gyfarfod â'u hanghen. Fel y mae y meddyg, er ei fod wedi astudio

pob cangen o feddyginiaeth a phob rhan o'r corff dynol, yn astudio pob achos neillduol, ac yn cymhwyso y feddyginiaeth, felly y dylai y pregethwr gymhwyso pob gwirionedd at sefyllfa ei wrandäwyr.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 2 o'r gloch.*

I. Hysbyswyd fod y Gymdeithasfa nesaf i'w chynnal yn Nghorwen, ar ddyddiau Mawrth, Mercher a Iau, Rhagfyr 11eg, 12fed, a'r 13eg. Cyfeisteddfod Cyffredinol y Gymdeithasfa i ddechreu am ddau o'r gloch ddydd Mawrth, Rhagfyr yr 11eg.

II. Derbyniwyd Adroddiad Cyfeisteddfod y Blaenoriaid, yr hwn oedd fel y canlyn :—

1. Dymunem awgrymu i'r Gymdeithasfa, a thrwyddi i'r Cyfarfodydd Misol, ai nid doeth fyddai pasio penderfyniad fel y canlyn, a sefyll yn gywir ato :—Na ddylai brawd o weinidog a adferir i'r weinidogaeth, gael pregethu allan o gylch ei Gyfarfod Misol ei hun, hyd nes yr adferir ef gan y Gymdeithasfa i gyflawn waith y weinidogaeth.—2. Dymunem hysbysu mai testun ein hymddyddan yn y Gymdeithasfa hon a'r ddiweddaf oedd "Dyledswydd yr eglwysi tuag at y rhai sydd yn esgeuluso moddion gras."—Hoffem os bydd amser i'r Gweinidogion ymddyddan ymhellach arno yn y Cyfeisteddfod heddyw, a'i gyflwyno hefyd, os bernir yn ddoeth, i sylw yr amrywiol Gyfarfodydd Misol.—3. Hysbyswyd fod cyfrif y Trysorydd wedi ei gymeradwyo.—T. Lewis, *Ysgrifenydd.*

Penderfynwyd cyflwyno awgrymiadau y brodyr y Blaenoriaid i sylw y Cyfarfodydd Misol.

III. Penderfynwyd fod caniatâd y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu tir, eiddo y Cyfundeb, yn y Waenfawr.

IV. Penderfynwyd, fod awdurdod y Gymdeithasfa yn cael ei roddi i werthu y tir a'r capel yn Nassau Street, Llundain, a'r tir a'r capel yn Jewin Newydd, Llundain.

V. Derbyniwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad o'r hyn a wnaed gan y Pwyllgor fu yn Llundain yn achos yr eiddo ynglŷn â Chapel Nassau Street.

VI. Cadarnhäwyd y penderfyniad o berthynas i roddi llythyr cyflwyniad i'r Parch. Owen Jones, M.A., Drefnewydd, ar ei ymweliad âg America.

VII. Penderfynwyd fod y genadwri ganlynol yn cael ei hanfon i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol :—Ein bod yn dymuno ar i bob Cyfarfod Misol gadw llygad agored i edrych pa leoedd sydd y dylid sefydlu Achosion Seisonig ynddynt, a'n bod yn annog ar un llaw i'r rhieni ymhob lle ymdrechu dysgu Cymraeg i'w plant, ac ar y llaw arall yn annog yn daer na fyddo hwyrfrydigrwydd yn cael ei ddangos i sefydlu Achosion Seisonig lle y mae gwir anghen am danynt.

VIII. Darllenwyd Adroddiad Pwyllgor y Drysorfa Gynnorthwyol gan y Parch. T. J. Wheldon, B.A., yr hwn oedd fel y canlyn :—

Cyfarfu y Pwyllgor yn y Rhyl, Awst 8fed, 1883, pryd yr oedd yn bresennol :—*Môn*, neb ; *Lleyn ac Eifionydd*, Parch. J. Jones, F.R.G.S. ; *Arfon*, Parch. William Jones, Porth Dinorwig, a Mr. T. Lloyd Jones, Talysarn ; *Dyffryn Conwy*, Parch. William Roberts, Llanrwst ; *Dyffryn Clwyd*, Parch. Lewis Ellis, a Mr. T. Roberts, Dinbych ; *Sir Fflint*, Parch. Roger Edwards ; *Dwyrain Meirionydd*, Parch. Dr. Edwards, a Mr. R. Hughes, Rhydlydan ; *Gorllewin Meirionydd*, Parch. Robert Roberts, Dolgellau ; *Trefaldwyn Uchaf*, Parch. D. Lloyd Jones, M.A., Llandinam ; *Trefaldwyn Isaf*, Parch. R. Davies, Amwythig, a Mr. J. Jones, U.H., Llanfyllin ; *Henaduriaeth Trefaldwyn*, Mr. R. Williams, Drefnewydd ; *Liverpool*, Parch. Dr. Hughes, a Mr. D. Roberts, U.H., Liverpool ac Abergele ; *Manchester*, Parch. T. Gray ; *Henaduriaeth Caer, &c.*, Parch. Henry Jones, M.A., Hoylake ; ynghyd a'r Trysorydd Cyffredinol, Mr. Peter Roberts, Llanelwy ; a'r Ysgrifenydd, Parch. T. J. Wheldon, B.A., Blaenau Ffestiniog. Llywydd y Cyfeisteddfod, Parch. Dr. Edwards.

1. Rhoddwyd adroddiad o weithrediadau y flwyddyn a aeth heibio gan yr Ysgrifenydd, yr hwn a brofai fod gwaith y Drysorfa yn myned rhagddo, ac yn llwyddo ymhob cyfeiriad, y casgliadau yn ychwanegu, yr ymddiried yn y symudiad ar gynnydd yn y Cyfarfodydd Misol, a'r dysgwyliad wrthi ar gynnydd yn yr eglwysi ; yr eglwysi a'r gweinidogion a dderbyniant o honi yn ymdrechu dyfod i fyny â'r rheolau ; y rhagfarnau yn erbyn y symudiad yn cael eu symud gan y gwirionedd ; yr oll yn rhoddi gobaith cryf y bydd i waith y Drysorfa yn ein gwlad ei chymeradwyo i'r rhai a hoffant lwyddiant teyrnas ein Harglwydd Iesu Grist.

2. Penodwyd Mr. E. Davies, U.H., Llandinam, a Mr. R. O. Jones, Pwllheli, yn archwilwyr cyfrifon y Drysorfa am y flwyddyn hon.

3. Yn gymaint a bod cyfartaledd y casgliad at y weinidogaeth yn Ngogledd Cymru yn cyfnewid bob blwyddyn, ac nas gall yr eglwysi na'r Cyfarfodydd Misol gael gwybodaeth sicr pa beth a fydd y cyfartaledd er mwyn ymdrechu dyfod i fyny â gofyniad Rheol XI. o reolau y Drysorfa, a'n bod felly mewn petruster parhâus a ydynt i fyny â'r rheolau ai nad ydynt, penderfynwyd : Fod rhaniad cynnorthwy y Drysorfa eleni i fod yn ol yr un cyfartaledd a'r llynedd, sef 11s. ; a'i fod felly i barhâu am y tair blynedd nesaf, pryd y gellir edrych drachefn dros y rheolau, a gwneuthur rhai cyfnewidiadau ynddynt ag y byddo profiad yn dangos eu bod yn angenrheidiol i'w gweithrediad mwy effeithiol.

4. Fod y pedwar Cyfarfod Misol cyntaf ar y rhestr yn dewis aelodau i'r pwyllgor o'r

newydd y flwyddyn hon, yn ol Rheol IV.; y pedwar nesaf y flwyddyn nesaf; ac felly yn olynol.

5. Fod pwyllgor yn cael ei benodi gan bob Cyfarfod Misol, lle nad yw eisoes, i edrych i mewn i reoleidd-dra a phriodoldeb y ceisiadau am gynnorthwy, i roddi ystyriaeth i bob achos a gyfodo ynglŷn â gweithrediadau y Drysorfa er eu cyflwyno i sylw a phenderfyniad eu Cyfarfod Misol, ac i gario allan benderfyniadau y Gymdeithasfa o bryd i bryd mewn perthynas iddi.

6. Rhoddodd y Trysorydd, Mr. Peter Roberts, adroddiad o sefyllfa arianol y Drysorfa am y flwyddyn.

7. Fod £1288 i'w rhanu eleni o gyllid y Drysorfa rhwng y gwahanol geisiadau, yn gwneuthur £23 i bob un o honynt.

8. Cyflwyna y Cyfeisteddfod yr eglwysi a'r gweinidogion penodol sydd yn ymddangos yn dyfod i fyny â'r rheolau.—(Ceir yr enwau yn y Cylchlythyr Cymdeithasfaol.)

9. Barna y Cyfeisteddfod yn ddoeth eleni eto i estyn cynnorthwy i rai eglwysi nad ydynt yn hollol gyfateb i'r rheolau. Y maent, gan mwyaf, yn geisiadau newyddion, a chan fod yn rhaid i eglwysi nad yw eisoes i fyny â'r rheolau gael o flwyddyn i ddwy i ymbarotoi i dderbyn cynnorthwy yn rheolaidd, bernid yn briodol roddi i'r cyfryw bob cyfleusdra a chalondid i ymgeisio yn rheolaidd am gynnorthwy, a dwyn eu trefniadau i weithrediad er cyrhaedd hyn. Nid ydynt yn ymddangos yn syrthio yn fyr ond o ychydig o'r hyn sydd yn angenrheidiol. Felly oddiar y grediniaeth y bydd y rhan fwyaf, os nad yr oll o honynt y flwyddyn nesaf, i fyny â rheolau y Drysorfa, cyflwyna y cyfeisteddfod rai penodol i'r Gymdeithasfa.—(Yr enwau yn y *Cylchlythyr.*)

10. Ail benodwyd y Parch. T. J. Wheldon yn ysgrifenydd a goruchwyliwr y Drysorfa. Y gydnabyddiaeth am ei wasanaeth i fod yn £40.

11. Fod diolchgarwch y cyfeisteddfod yn cael ei roddi i David Davies, Ysw., A.S., am ei haelioni tuag at yr achos hwn. Hefyd i ymddiriedolwyr y diweddar Mr. Thomas Jones, am eu caredigrwydd hwythau tuag at yr un achos.

Mr. Peter Roberts, y trysorydd, a ddarllenodd yr adroddiad arianol. Derbyniwyd y casgliadau canlynol, a dangosir y cynnydd a'r lleihâd ar y casgliad y flwyddyn flaenorol:—

| | Casgliad. £ | s. | d. | Cynnydd. £ | s. | d. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Mon, drwy law Mr. David Roberts ... | 40 | 18 | 8 | 10 | 10 | 10 |
| Arfon, drwy law Mr. M. Roberts ... ... | 65 | 5 | 7 | 9 | 4 | 9 |
| Lleyn ac Eifionydd, drwy law Mr. R. Jones, U.H. ... ... | 54 | 16 | 1 | 24 | 4 | 6 |
| Dyffryn Conwy, drwy law Mr. M. Davies | 21 | 17 | 1 | 13 | 17 | 1 |
| Dyffryn Clwyd, drwy law Mr. Thomas Roberts ... ... ... ... | 120 | 0 | 0 | 85 | 16 | 5 |
| Sir Fflint, drwy law Mr. Enoch Lewis .. | 48 | 6 | 8 | 11 | 6 | 11 |
| Dwyrain Meirionydd, drwy law Mr. R. Hughes ... ... ... | 103 | 0 | 0 | 46 | 0 | 0 |
| Gorllewin Meirionydd, drwy law Dr. Edward Jones ... | 121 | 1 | 11 | 15 | 0 | 9 |
| Trefaldwyn Uchaf, drwy law Mr. Davies, U.H. ... | 322 | 10 | 2 | 50 | 8 | 1 |
| | | | | Lleihad. | | |
| Trefaldwyn Isaf, trwy law Mr. E. Thomas | 86 | 3 | 9 | 23 | 0 | 10 |
| | | | | Cynnydd. | | |
| Liverpool, drwy law Mr. Hughes, U.H. | 173 | 17 | 8 | 6 | 11 | 8 |
| Manchester, drwy law Mr. John Edwards | 16 | 12 | 4 | 5 | 6 | 10 |
| Henaduriaeth Lancashire, drwy law Mr. J. O. Jones ... ... | 57 | 15 | 0 | 41 | 0 | 0 |
| Henaduriaeth Trefaldwyn, drwy law Mr. R. Williams ... ... | 14 | 17 | 4 | 5 | 8 | 6 |
| Eglwys Seisonig Llandudno, drwy law Mr. J. B. Evans ... | 2 | 2 | 0 | | | |
| Mr. J. W. Jones, Helloway, Llundain ... | 5 | 5 | 0 | | | |
| | 1254 | 9 | 3 | | | |
| Ymddiriedolwyr y diweddar Mr. Thomas Jones ... ... ... | 100 | 0 | 0 | | | |
| Cyfanswm ... | £1354 | 9 | 3 | | | |

Penderfynwyd fod yr Adroddiad uchod yn cael ei dderbyn a'i gadarnhâu. Ynglŷn â hyn dadganwyd dymuniad ar i'r Siroedd ochel, hyd y byddo modd, dwyn ceisiadau afreolaidd o dan sylw y Pwyllgor.

IX. Penderfynwyd ein bod yn cymeradwyo i Mr. John Thomas, Rhostryfan, gael ei ordeinio i holl waith y weinidogaeth, a bod yr ordeiniad i gymeryd lle yn Nghyfarfod Misol Arfon.

### Dydd Iau, Awst 30.

*Cyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid am 8 o'r gloch.*

X. Cyttunwyd ar y penderfyniad canlynol fel atebiad i'r cais am ad-drefniad ar derfynau y Cyfarfodydd Misol. Nad ydym yn ystyried fod angenrheidrwydd yn awr am ad-drefniad cyffredinol ar y Cyfarfodydd Misol; ar yr un pryd ein bod yn dymuno annog y Cyfarfodydd Misol i roddi ystyriaeth garedig i gais eglwysi a all fod yn barnu mai manteisiol fyddai iddynt newid eu Cyfarfod Misol; ac fod y Gymdeithasfa yn barod, os cyfyd anhawsdra, i benodi pwyllgor i ystyried yr achosion a ddygir i sylw.

XI. Penderfynwyd fod y Gymdeithasfa hon, wrth feddwl am yr anmhriodoldeb a'r

anghyfiawnder o fod plaid fechan yn ein gwlad yn cael ei chynnal ar draul y genedl fel eglwys yr holl boblogaeth, ac yn arbenig wrth ystyried y niwed y mae teyrnas y Gwaredwr ymhob oes wedi ei dderbyn o herwydd ei chysylltiad â'r wladwriaeth, yn llawenhâu wrth ddeall fod yn mryd Mr. Dillwyn, A.S., i ddwyn cynnygiad yn y Senedd-dymmor nesaf ar fod yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru yn cael ei dad-gysylltu a'i dadwaddoli, ac yn hyderu y bydd iddo yn ei amcan pwysig gael cefnogaeth galonog ein cydwladwyr yn gyffredinol.

XII. Penderfynwyd,—Fod Adroddiad y Pwyllgor ar Ad-drefniad Cyfarfodydd y Gymdeithasfa, fel y gwelir ef yn argraffedig yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa y Wyddgrug, yn cael ei gymeradwyo.

XIII. Penderfynwyd,—Fod yr adroddiad canlynol o weithrediadau y Cyfeisteddfod Dirwestol yn cael ei gymeradwyo.

Yr oedd yn bresennol, y Parchn. David Hughes, Corwen; Simon A. Frazer; E. Ff. Jones, Llansantffraid; J. Eiddon Jones, Llanrug; Edward Griffiths, Meifod; Daniel Rowlands, M.A., Cadeirydd y Pwyllgor, a'r Ysgrifenydd.

Ein bod yn llawenhâu yn fawr wrth weled y llwyddiant sydd ar yr Achos Dirwestol y dyddiau hyn trwy y deyrnas oll, ac yn neillduol ymhlith y gwahanol gyfundebau crefyddol, ac yn nghylchoedd uchel cymdeithas, lle y mae gallu yn cael ei ddeffro a'i osod ar waith sydd yn profi yn fendith i filoedd.—Ond er maint yr ymdrech a wneir gyda'r achos yma mewn manau eraill, ac er cydnabod yn ddiolchgar fod llawer o deimlad dirwestol isehus yn ein plith ninnau, eto ni a ddymunem ar fod mwy o zel yn cael ei ddangos y dyddiau hyn gan y Methodistiaid gyda'r achos pwysig hwn, yn enwedig gan fod anghymedroldeb mewn llawer o ardaloedd eto yn parhâu, ac yn gwneuthur mawr niwed.—Yn wyneb hyn, yr ydym yn cynnyg:—1. Fod ymdriniaeth yn Nghyfeisteddfod y Gymdeithasfa nesaf, am chwech o'r gloch, ar *Rwymedigaethau y Methodistiaid y dyddiau hyn gyda golwg ar yr Achos Dirwestol*, ac fod y Parch. Joseph Thomas yn cael ei benodi i agor y mater.—2. Yn y cyfamser fod y Gymdeithasfa yn annog ein cyfeillion ymhob man, ac yn enwedig gyda dynesiad y gauaf, i ymdrechion adnewyddol o blaid yr achos da hwn mewn unrhyw ffurf arno a ymddangoso yn fwyaf doeth a manteisiol.—3. Ein bod yn dymuno ar Ysgrifenydd y Cyfeisteddfod hwn wneyd ymofyniad beth a wnaed yn y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau, mewn canlyniad i'r hyn a basiwyd ar yr achos yma yn Nghymdeithasfaoedd Harlech a Phwllheli, fel y gallo wneyd adroddiad am hyny yn y Gymdeithasfa nesaf.—DAVID JONES, *Ysg.*

XV. Cyflwynwyd y genadwri o'r Gymanfa Gyffredinol, cynnwysedig yn Penderfyniad XXI. i sylw y gwahanol Gyfarfodydd Misol a'r Henaduriaethau.

XV. Penderfynwyd cyflwyno y cenadwriaethau cynnwysedig yn y Penderfyniad XXIV. a'r Penderfyniad XXVI. i sylw y Cyfarfodydd Misol.

XVII. Galwyd sylw at ein rhwymedigaeth i gydnabod yr Arglwydd am ei ddaioni tuag atom y flwyddyn hon yn ei Ragluniaeth, ac annogwyd i gynnal dydd o ddiolchgarwch am y cynauaf y flwyddyn hon fel yr ydym yn arfer gwneyd o flwyddyn i flwyddyn.

XVII. Rhoddwyd hanes yr Achos Crefyddol yn Arfon gan y Parch. John Jones, Bryn'rodyn, a gwnaed sylwadau priodol ar yr adroddiad gan Dr. O. Thomas.

Nid oedd amser i draethu ar y pwnc o Freniniaeth Crist. Bwriedir cael ymdriniaeth arno yn y Gymdeithasfa nesaf.

W. WILLIAMS,
*Ysgrifenydd.*

O.Y. Yn y Gymdeithasfa nesaf etholir Llywydd am y flwyddyn 1884, ac Ysgrifenydd am y tair blynedd nesaf.

### *Y Moddion Cyhoeddus.*

Pregethwyd mewn gwahanol gapelau, ac ar y maes, gan y Parchn. Dr. O. Thomas, Dr. Hughes, Dr. Harries Jones, T. Charles Edwards, M.A., H. Jones o Liverpool, J. Williams o'r Rhyl, W. James, B.A., o Manchester; D. Lloyd Jones, M.A.; John Hughes, M.A., o Machynlleth; J. Elias Hughes, M.A., o Lundain; Robert Owen o'r Tŷ draw, Wyddgrug; W. R. Jones o Gaergybi; J. Pritchard o Birmingham; W. Foulkes o'r Rhosllanerchrugog; a W. Williams o Gorris.

---

### COFGOLOFN DANIEL ROWLANDS, LLANGEITHO.

Y MAE yn hysbys fod y Parch. Thomas Levi, Aberystwyth, wedi llwyddo, yn benaf trwy gynhyrfu miloedd darllenwyr ieuainc TRYSORFA Y PLANT, i gasglu yr arian oedd reidiol i gael cofgolofn anrhydeddus i hen wron parchedig y Methodistiaid yn Llangeitho. Wedi i Mr. Levi gael y meddwl am hyny, ni roddodd i fyny nes llwyddo yn ei amcan ardderchog. Y cerfluniwr oedd Mr. Edward Griffith, Caerlleon. Y cerflun sydd mewn mynor gwyn, yn gosod allan Daniel Rowlands megys yn sefyll i bregethu yn yr awyr agored, yn ei wn pulpudaidd, yn estyn allan ei law ddehau, a Bibl agored yn ei law aswy. Cymerwyd ffurf y wyneb oddiwrth ddarlun a gyhoeddwyd yn fuan ar ol marw Rowlands. Dan y gofgolofn, ceir y darleniad, "*Daniel Rowlands, born, A.D.*, 1713; *died October, 16th*, 1790; ac yna yn Gymraeg un o ddywediadau Rowlands mewn pregeth, yr hon a glywodd y diweddar flaenor enwog, David Jones, Dolau-bach, pan yn fachgen,—"O nefoedd, nefoedd, nefoedd! buasai dy gonglau yn ddigon gwâg oni buasai fod Sïon

'n magu plant i ti ar y ddaear!" Yn awr y mae y dadorchuddiad o'r golofn gain wedi cymeryd lle, mewn cysylltiad â'r hyn y cynnaliwyd cyfarfod pregethu yn Llangeitho, Medi 6 a'r 7. Nos Iau y 6ed, pregethodd y Parchn. Joseph Thomas, Carno, a Dr. Edwards, Bala. Bore Gwener, am hanner awr wedi naw, pregethwyd yn y capel gan y Parch. Joseph Thomas, ac yna yn yr ysgwâr wrth ochr y capel gan y Parch. Dr. O. Thomas. Am un o'r gloch yr oedd y dadorchuddiad, pan yr oedd o ddwy i dair mil o bobl, o leiaf, wedi dyfod ynghyd, a llawer o honynt wedi dyfod yno o bellder ffordd. Dechreuodd y Parch. J. A. Morris (Bedyddiwr), Aberystwyth, trwy weddi; ac yna R. J. Davies, Ysw., Cwrtmawr, un o ddiaconiaid eglwys Llangeitho, ac un o ustusiaid heddwch Sir Aberteifi, a alwodd ar y Parch. T. Levi, fel llywydd y Gymanfa Gyffredinol, i lywyddu. Efe a wnaeth araeth wir briodol a rhagorol ar yr achlysur. Yna y Dr. Edwards, wedi araeth deilwng o hono ei hun, ac o Rowlands, a gyflawnodd y gwaith o ddadorchuddio y golofn yn nghanol cymeradwyaeth yr holl gynnulleidfa. Areithiwyd yn ganlynol gan y Parchn. Dr. Thomas, Joseph Thomas, a'r Prifathraw Edwards o Goleg Aberystwyth; ac yr oedd eu hareithiau hwythau yn gymhwys ac effeithiol iawn. Yn wir, hyderir y ceir y cyfan mewn un llyfryn destlus, gydag arlun o'r gofgolofn, yr hyn, dybygem, a fyddai yn dderbyniol gan y wlad yn gyffredinol, ac yn enwedig gan ei holl Fethodistiaid. Cynnygiodd Mr. Davies, Cwrtmawr, a chefnogodd Mr. D. Jones, Aberystwyth, ddiolchgarwch i Mr. Levi am ei ymdrech lwyddiannus tuag at gael y gofgolofn, a'i fedr yn llywyddu y diwrnod hwnw, yr hyn a basiwyd yn frwdfrydig gan yr holl dorf. Terfynwyd trwy weddi gan y Parch. Griffith Parry.

---

### CAPEL Y GROESLWYD.

Y MAE'R Groeslwyd yn agos i'r Trallwm, ac y mae pregethu wedi bod yn yr ardal gan y Methodistiaid er yr hen amserau. Ond nis adeiladwyd capel yno hyd y flwyddyn 1839; ac erbyn hyn y mae capelau wedi eu codi hefyd mewn ardaloedd cymydogaethol, yr hyn sydd yn dangos fod yr achos goreu yn myned ar gynnydd yn y bröydd gororaidd hyn. Gwelid fod yn anghenrheidiol cael yno gapel newydd; ac y mae hwnw yn awr wedi ei ddechre yn dda. Yr oedd D. Davies, Ysw., A.S., Llandinam, wedi addaw dyfod i osod y gareg sylfaen; ond y diwrnod cyn dydd y sylfaeniad bu galwad arno i fyned i Lundain ar achos pwysig oedd o flaen Tŷ y Cyffredin. Yn y cyfryw amgylchiad, daeth John Jones, Ysw., Ustus Heddwch, Llanfyllin, ymlaen fel cynnrychiolydd Mr. Davies, i osod y gareg, yr hyn a wnaeth yn ganmoladwy. Yr oedd Mr. Davies wedi anfon *cheque* am £50; ac yn addaw pan wnai y cyfeillion y swm o £450, y rhoddai efe £50 yn ychwaneg. Deallwn fod y swm crybwylledig wedi ei wneyd i fyny, ac ychwaneg; ac felly ni bydd ond ychydig ddyled, os dim, yn aros ar y capel pan yr agorir ef. Cymerwyd rhan yn y gwasanaeth ar y pryd gan y Parch. O. B. Jones, gweinidog eglwys y Groeslwyd, a'r Parchn. J. Jones, Coedway; R. Jones, Llanymynech; W. Hinton Jones, Amwythig; E. Parry, M.A., o'r Drefnewydd; a J. Davies, Berriw; a chan Mri. D. Price, Trelydan, a J. Jones, Farchfoel. Ar ol y sylfaeniad, cafwyd cwrdd tê yn yr Ysgol Genedlaethol, Guilsfield, lle yr oedd lliaws yn cyfranogi; ac yn yr hwyr pregethodd y gweinidogion o'r Amwythig a'r Drefnewydd.

---

### GWERNAFFIELD, GERLLAW YR WYDDGRUG.

Nos Lun a dydd Mawrth, yr 20 a'r 21 o fis Awst diweddaf, oeddynt amser y mawr ddysgwylid am dano ymhlith Methodistiaid y lle uchod, o herwydd dyna y pryd a enwyd i gynnal y cyfarfod pregethu cyntaf erioed a gynnaliwyd gan yr enwad hwn yn llân Gwernaffield, neu y Waen; ac ystyrid ef fel agoriad y capel newydd yn y lle. Yr oedd pregethu, mae yn wir, er ys rhai wythnosau o'r blaen yn yr adeilad yma; ond hwn oedd yn ffurfiol yn gyfarfod yr agoriad.

Cangen o eglwys Llynypandŷ a ymffurfiodd yn gynnulleidfa yn y lle hwn, ac a sefydlwyd yn eglwys reolaidd trwy gynnrychiolwyr o Gyfarfod Misol Sir Fflint. Prynwyd tir tuag at adeiladu capel yn y Waen er ys amryw flynyddoedd; ond rywfodd ni wnaed un ymdrech gyson i sefydlu achos Methodistaidd yn y lle hyd fis Ionawr, 1879, pryd y dechreuwyd cynnal Ysgol Sabbothol yn yr hen annedd-dŷ oedd ar y tir prynedig; a buan y teimlwyd fod y lle yn myned yn rhy gyfyng i'r rhai a gyrchent iddo. Yr oedd nifer deiliaid yr Ysgol yn ychwanegu ymron bob Sabboth, fel yr oedd raid rhoddi symudiad ymlaen; a deuwyd i'r penderfyniad unfrydol mai anghenrhaid oedd cael capel newydd. Y flwyddyn ddiweddaf dechreuwyd rhoi y penderfyniad mewn gweithrediad; ac erbyn hyn mae yn hyfryd genym ddyweyd fod yma addoldŷ hardd, gyda golwg lewyrchus ar yr achos; deiliaid yr Ysgol Sabbothol a'r gynnulleidfa yn raddol yn myned ar gynnydd yn barhâus.

Ar y dyddiau crybwylledig, cynnaliwyd y cyfarfod agoriadol, pryd y pregethodd y Parchn. R. Edwards o'r Wyddgrug, E. Adams o Gilcen, George Jones o Nerquis, John Smallwood o'r Cymau, a John Hughes o'r Carneddau. Teimlid fod y pregethu yn rymus, ac yr oedd y cynnulleidfäoedd yn lliosog.

Dyma faes newydd hollol gan y Methodistiaid Calfinaidd, ac sydd, ni a gredwn, yn wir deilwng o sylw a chefnogaeth y Gymdeithas Gymreig yn ein Sir.

EDWIN JONES.

---

### SEFYDLIADAU A SYMUDIADAU GWEINIDOGION.

Y MAE eglwys Uwchmynydd, Lleyn, wedi dewis Mr. Evan Hughes, Deunant, Pwllheli,

yn weinidog arni, ac eglwys Seisonig Nant-gwtheyrn, Lleyn, wedi dewis Mr. J. R. Evans, Llanbedr, Gorllewin Meirionydd, i'w bugeilio. Cadarnhäwyd y dewisiadau hyn gan Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd.

Hysbysir fod eglwys Seisonig Penybont, Gorllewin Morganwg, wedi llwyddo i gael y Parch. Moses Williams, yn ddiweddar o Lanfairmuallt, i gymeryd ei gofal bugeiliol. Amlygwyd llawenydd gan Gyfarfod Misol y parth hwnw o herwydd y symudiad hwn. Y mae Mr. Charles Williams, Porthcawl, wedi ei sefydlu yn weinidog yn St. Brid.

---

CROESAWIAD Y PARCH. DAVID SAUNDERS YN COLORADO.

Yr ydym yn gweled oddiwrth hysbysiadau o'r America fod Mr. Saunders yn cael y derbyniad gwresocaf oddiwrth y Cymry ymhob man lle yr elo, ac yn enwedig gan Fethodistiaid Cymreig. Ymysg lleoedd eraill cafwyd ef i Denver, Colorado. Nid oes un eglwys Gymreig yn y ddinas hono, er fod yno gryn nifer o Gymry, y rhai sydd yn dra gwasgaredig. Rhoes y Methodistiaid Esgobyddol fenthyg eu haddoldŷ prydferth i Mr. Saunders bregethu ynddo; ac yr oedd yn amlwg ei fod yn cael cymhorth o'r uchelder i bregethu yr Arglwydd Iesu i'w gydgenedl yn mhellder y gorllewin. Wedi terfynu yr oedfa, wele Mr. R. R. Griffiths yn dyfod ymlaen, drosto ei hun a'i gyfeillion, i gyflwyno i Mr. Saunders law-ffon hardd, o liw tywyll, gyda chlopa o aur dysglaer, 16 *carat*, yr hon oedd yn bris tua deg punt o arian Prydain, ac arni yn gerfiedig,—"*This was presented to the Rev. D. Saunders, as a token of respect by the Welsh people of Denver, Colorado, August* 14, 1883." Amlygodd Mr. Saunders ei syndod mawr a'i ddiolch brwd am yr arwydd annysgwyliadwy hwn o garedigrwydd ato; a dywedodd y gwnai gadw'r ffon fel rhodd gysegredig—ei bod yn rhy dda i'w defnyddio mewn llaid a thom. Mawr ganmawl y gweinidog da y mae Gomeriaid yr America; a diau mai eu canmawl hwythau yw ei duedd yntau.

---

MARWOLAETHAU GWEINIDOGION.

Y mae y brodyr ffyddlawn a chymeradwy y Parchn. John Bywater a Richard Herbert o Sir Fynwy, a David Davies, Cefnbrew, Henaduriaeth Trefaldwyn, wedi huno yn yr Arglwydd. Dysgwyliwn y bydd rhai o'n cyfeillion wedi anfon ychydig nodiadau am eu hymadawiad erbyn ein rhifyn nesaf.

---

# Amrywiaethau.

SWYDDOGION EGLWYSIG I GADW CYFRINACH.

Y Parch. William Williams, Pantycelyn, yn ei lyfr dyddorol ac adeiladol, "Drws y *Society* Profiad," wrth gynghori swyddogion eglwysig, a ysgrifena, "Meddyliwch fedru celu yr hyn a ddywedir wrthych. Os stiward *society* fydd yn glebrog, ac yn dadguddio dirgelion y rhai profedigaethus, pwy a ymddiried eu pethau dirgel iddo? Bydd ei ofn ef ar bawb, rhag i'r hyn a ddywedasant wrtho yn y glust yn eu mawr ofid, gael ei daenu ar led y wlad, a'i wneyd yn gorn canu o fôr i fôr. Mae offeiriaid Eglwys Rhufain, ag sydd yn cael cwnsel yr holl bobl, o'r brenin i'r ysgubwr simneiau, yn medru cadw dirgelion yr eglwys tra byddont byw yn y byd; ac os medr eglwys buteinllyd wneyd hyn, llawer rhagor dyled y wir eglwys yw cadw yr hyn a roddir iddi i'w gadw. Ac os nas gellir ymddiried i stiwardiaid *society* gadw dirgelion, gwell yw dyweyd y dirgelion wrth y Duw hwnw a fedr eu cadw a'u madden hefyd. Mae llawer o bethau gan ddynion duwiol i siarad â'u hathrawon yn neillduol nas gallant eu mynegu ond wrth ryw un neillduol, a hwnw y cyfryw ag na cheir glywed gair o'i enau byth mwy am dano, ond rhoi cynghor ac addysg a thaer weddïo ar Dduw am waredigaeth o'r unrhyw. Amryw feichiau trymion sydd ar ysgwyddau gwragedd yn berchen gwŷr annuwiol nad allant fynegu o flaen y gymdeithas: weithiau gwŷr priod dan feichiau trymion o ran eu gwragedd, ac yn byw mewn anghen mawr o gynghorion ac addysgiadau nefol i ymddwyn atynt—weithiau meibion dan demtasiynau poethion at wyryfon uwchlaw neu islaw eu gradd i'w priodi, a phrydiau eraill gwyryfon hwythau yr ochr arall yn byw ar ochenëidiau cariad, heb neb i fynegu eu meddyliau, na'u cynnorthwyo i ddal eu baich. Yn y fath achosion, anghenrhaid yw yn fynych osod y peth o flaen brawd ffyddlawn, cywir, dystaw, ag a gymero ran o'r baich arno ei hun, ac a'i gosyd o flaen gorseddfainc y gras, hyd onis teimla y dyn gorthrymedig a adroddodd ei gŵyn a'i archoll esmwythâd a llonyddwch o'i flinder a'i brofedigaeth."

ADDFWYNDER ROWLANDS, LLANGEITHO.

Ymddygai y Parch. Daniel Rowlands yn addfwyn a llariaidd, drwy fod ei dymher naturiol wedi ei dwyn dan lywodraeth gras. Ni fyddai yn trawdurdodi ymhlith ei frodyr yn llywyddiaeth y Cymdeithasfaoedd, nac yn yr eglwys gartref. Dylanwadai trwy bwyll ac addfwynder yn y gwahanol gylchoedd hyn. Anfynych y gwelid ef yn y cyfarfodydd eglwysig gartref, yn enwedig fel yr oedd yn heneiddio, ond gadawai eu dygiad ymlaen i'r cynghorwyr a'r blaenoriaid. Barnai, mae yn debygol, y byddai yr aelodau yn fwy rhydd yn ei absen i gydymddyddan ac i adrodd eu profiadau, ac mai trwy bregethu y gwnai efe fwyaf o les. Er nad ymyrai o'i fodd â materion dysgyblaeth, eto byddai ansawdd a helynt y frawdoliaeth yn ddigon hysbys iddo trwy rai a fyddent yn gweini yn ei dŷ, a byddai ei gynghor a'i gyfarwyddyd yn barod pan fyddai achos. Yr oedd blaenor o'r enw William Williams yn un o'r rhai blaenaf yn llywodraethiad yr achos yno, ac yn ddysgyblwr llym pan y ceid fod rhai o'r aelodau wedi colli eu lle. Yr oedd rhyw frawd unwaith wedi troseddu; ac, yn ol barn y blaenor, yr oedd ei drosedd yn galw am ei fwrw allan, ond nid yn hollol felly yn ol barn y gweinidog. Ond mewn cyfarfod eglwysig un diwrnod, galwyd y dyn i gyfrif, a diarddelwyd ef. Pan ddaeth morwyn Rowlands adref o'r cwrdd, galwodd arni i'r parlwr, a gofynodd iddo beth a wnaed i'r dyn. "Meistr bach," ebai hithau, "fe'i trowyd ê i maes." "Dyna hi," ebai yntau, "fe wasgar Wil y teilwr fwy nag a gasglaf fi, a gwneyd fy ngoreu." Byddai yn dra anewyllysgar i dori neb allan o'r eglwys, hyd yn nôd pan fyddai y bai yn gofyn cerydd trwm. Ei farn ef oedd ceryddu yn y tŷ, fel y gwna rhieni

naturiol â'u plant, ac nid eu troi allan o hono. Adferu ac adgyweirio mewn ysbryd addfwynder fydd ei amcan ef drwy geryddon eglwysig, oddieithr mewn achosion o waradwydd cyhoedd a chyndynrwydd anghristionogol y bydd raid cario allan ddysgyblaeth i'w heithaf. Hyn yn ddiau yw y drefn ysgrythyrol.—*Cofiant y Parch. Daniel Rowlands gan y diweddar Mr. Morris Davies, Bangor.*

### CHWAIN CYMDEITHAS.

Mae yn perthyn i gymdeithas, yn gystal ag i natur, ei chwain. Rhyw bethau duon, picioc, pigog, aflonydd, ac anhawdd eu dal ydynt. Fel y mae ceisio cysgu mewn gwely y bydd llawer o'r creaduriaid hyn ynddo yn beth anhawdd a phoenus, felly nid difyr ydyw gorfod byw yn yr un gymdeithas â rhyw ddynionach bychain, pigog, ac ysbonclyd. Na ddeled fy enaid i'w cyfrinach. Dywedai Mr. Humphreys, Dyffryn, — "Pethau bychain sydd fryntaf wrth ddyn. Mae gan y march, yr ych, a'r elephant, barch i ddyn; ond rhyw bethau bychain, megys gwibed a chwain, ydynt y pethau mwyaf dibarch i ddyn." Fel mân-bryfetach natur, felly y mae yr eiddo cymdeithas. Maent yn anhawddach eu dal na nemawr i greaduriaid. Maent nid yn unig yn bigog, ond hefyd yn bicioc; ac o bawb y dyn gwyllt yw yr anghymhwysaf atynt.—*Y Parch. Robert Ellis, Ysgoldy—allan o'i Gofiant a'i Weithiau.*

### YR YSBARDUNAU ARIAN.

Ymysg hen weinidogion Anghydffurfiol Cymru y rhoddir eu henwau a'u hanes gan Dr. Thomas Rees yn ei *History of Protestant Nonconformity in Wales*, un ydyw Thomas Baddy, yr hwn a ymsefydlodd fel gweinidog yr eglwys Bresbyteraidd yn Ninbych oddeutu 1693, ac a fu yn gweinidogaethu yno hyd ei farwolaeth yn 1729. Ymddengys ei fod yn foneddwr yn meddu ar gryn eiddo bydol, ac felly o uwch sefyllfa mewn cymdeithas na'r rhan fwyaf o'i frodyr gweinidogaethol. Adroddir ei fod yn achlysurol yn gwisgo ysbardunau arian, yr hyn oedd yn rhoddi tramgwydd i rywrai yn ei gynnulleidfa, y rhai a dybient ei fod wrth wneuthur hyny yn cydffurfio gormod â ffasiynau boneddigion digrefydd. Pan yr hysbyswyd ef am eu hanfoddlonrwydd hwn, dywedai, "Mae yn ddrwg genyf fod fy nghyfeillion yn dodi yn eu calonau i'w blino yr hyn nad wyf fi ond yn eu dodi yn unig ar fy sodlau."

### Y GWR BONEDDIG A'R TALU.

Yr oedd dilledydd mewn ymddyddan un diwrnod yn dywedyd, "Ni fyddaf fi byth yn gwasgu ar ŵr boneddig am arian." "Ond beth os na chewch ef yn talu yr hyn sydd arno i chwi?" ebe y cyfaill wrtho. "Wel," atebai'r teiliwr, "os na bydd efe am dalu i mi mewn amser rhesymol, byddaf yn penderfynu mai nid gŵr boneddig mo hono, ac yna mi a âf i wasgu arno."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH MAWPHLANG.

### Llythyr oddiwrth y Parch. Dr. Griffiths, dyddiedig Gorph. 9, 1883.

Y mae yn dda genyf eich hysbysu fod y gwaith yn myned ymlaen yn bur gysurus. Ddoe yr oedd yr ysgoldŷ yn Mawphlang yn llawn, ac yn Mawreng yr un modd, yn ol fel y clywais. Yr oedd y cyfeillion a aethant i Mawbeh hefyd i bregethu yn dyweyd fod yno gynnulleidfa led weddol, ond nid cymaint ag arfer. Ein hangen mawr yn awr ydyw digon o athrawon yn yr Ysgol Sabbothol. Buaswn yn gallu eu rhoddi (yn Mawphlang) yn wyth o ddosbarthiadau pe buasai digon o bobl i'w dysgu.

Ond er y cwbl, ychydig o arwyddion sydd fod *calonau* y rhai hyn yn cael eu cyffwrdd. Nid oes neb o honynt yn cynnyg eu hunain i'r eglwys, er fod amryw o honynt ag y gellir eu hystyried yn "wrandäwyr" rheolaidd, ymhlith pa rai y mae un teulu sydd, rhwng plant ac ŵyrion, yn rhifo tua deuddeg o eneidiau.

Yn y dyddiau diweddaf daeth yma rai *cases* o bentrefi newyddion, heb fod ymhell o Mawbeh, i'r *Dispensary*, gyda pha rai y bum yn bur llwyddiannus. Yr oedd rhai o'r pentrefi hyn na wyddwn am eu bodolaeth o'r blaen. Mor fuan ag y bydd *break* yn y gwlaw, ymdrechaf dalu ymweliad â'r pentrefi hyny i edrych a oes modd eu gweithio rywfodd trwy Mawbeh. Gwrandawant yn dda ar y siarad yn y *Dispensary*, a dadleuant yn erwin dros eu hen grefydd; ond bydd rhai o honynt wedi gwario cymaint o arian ar aberthu i ddim pwrpas fel y byddant yn melldithio yr holl dylwyth cythreulig oreu fyth ag y gallant. Ond gresyn na cheid eu clywed, yn lle melldithio Satan, yn moli Duw; byddai rhyw obaith o honynt wed'yn. Bydd un wedi bod yn aberthu am dair blynedd, un arall wedi gwario y cwbl a myned i ddyled er dyhuddo y diafol, ac un arall wedi rhoddi peth wmbreth o arian i swynwr, a'r cwbl yn ofer, ond yn derbyn lles ymhen ychydig ddyddiau neu wythnosau yn Mawphlang. Ond er y cwbl, byw yn eu pechodau a wnânt. Ond dyweyd wrthynt, "Peidiwch a meddwi, mae yn nerthu yr afiechyd," ufuddhânt. Pan ddywedaf, "Peidiwch a meddwi, mae yn digio Duw," gwrandawant fel pe buaswn yn siarad o bwrpas i ogleisio eu teimladau. Y mae hyny yn ddigon naturiol hefyd, a byddaf yn dyfod i deimlo yn ddwysach bob dydd nad oes dim ond gallu Ysbryd Duw a all eu hargyhoeddi; ac yr wyf yn gweled yn barhâus fod son am y cwestiwn yn yr Ysgol Sabbothol fel pwnc o dduwinyddiaeth yn beth pur wahanol i fod wyneb yn wyneb â'r *ffaith* wrth ymwneyd â phechaduriaid.

Y mae yn dda genyf eich hysbysu ein bod yn parhâu i fod yn iach ein tri, er mor afiach y tymmor gwlawog presennol.

## DOSBARTH JIWAI.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. JOHN JONES, DYDDIEDIG GORPHENAF 31AIN, 1883.

'DA genyf eich hysbysu fod y gwaith yn myned rhagddo yn yr holl ddosbarth. Y mis diweddaf bedyddiwyd pedwar o blant bychain—had yr eglwys, yn Jiwai. Araf, ond sicr, mi a obeithiaf, y mae y gwaith yn llwyddo yn y pentref hwn—un, dau, neu dri o deuluoedd yn symud mewn blwyddyn i fyw at y Cristionogion, a'r rhai hyny, wedi eu dysgu am grefydd Iesu Grist, yn eu tro, yn cynnyg eu hunain i'r eglwys. Pan nad ydym yn derbyn llawer o'r byd i'r eglwys, y mae yn lloni ein meddwl fod ein Tad nefol yn cofio am ei eglwys trwy ychwanegu ei had, ac y mae gobaith y bydd i'r genedlaeth hon o Gristionogion sydd yn codi fod yn well na'r hon sydd yn myned heibio, gan y byddant, mi a obeithiaf, wedi eu trwytho yn fwy trwyadl â hynawsedd Crist.

Derbyniasom dri i'r eglwys, sef dau ŵr ieuanc o Nongbah, ac un hen wraig o Jiwai. Y mae y ddau ŵr ieuanc yn meddu ar gymeriad da, ac wedi bod yn ffyddlawn iawn yn dilyn pob moddion o ras am tua dwy flynedd. Rhoddasant atebion boddhaol iawn, a dywedasant eu bod yn llwyr argyhoeddedig mai y grefydd Gristionogol yw y wir grefydd, ac eu bod yn penderfynu yn nerth gras Duw i fod yn ffyddlawn hyd y diwedd. Am yr hen wreigan, *type* go dda yw hi o bobl y pentref; y mae ganddi ddawn i ffraeo na cheir mo'i fath ond anfynych iawn. Bu dan gerydd amryw weithiau am hyny; nid cerydd eglwysig yr wyf yn ei feddwl, oblegid ni bu yn yr eglwys o'r blaen, ond cerydd fel un yn perthyn i'r pentref Cristionogol. Er ys tua blwyddyn yn ol y mae cyfnewidiad amlwg wedi cymeryd lle ynddi; y mae gryn lawer yn nês i'w hiawn bwyll, ac yn llywodraethu yr aelod bychan hwnw, y tafod, yn llawer iawn gwell nag y byddai. Penderfynwyd rhoddi help llaw i'r hen wreigan druan i fyw yn dduwiol yr ychydig ddyddiau sydd iddi eto ar y ddaear. Gan fod ganddi awydd mor fawr am fod yn un o ddysgyblion yr Arglwydd Iesu, rhoddwyd lle iddi yn ein plith. Y Nefoedd a roddo ras fwyfwy iddi hi a'r ddau ŵr ieuanc hyn i fod yn ffyddlawn i'r Hwn a roddodd ei hunan drostynt!

Ddechreu y mis hwn cyfranogasom o Swper yr Arglwydd fel eglwys yn Jiwai. Cyfranogodd chwech am y tro cyntaf—pump o ddynion ac un ferch. Cyn iddynt gyfranogi, bedyddiwyd hwy oll a thri o blant. Rhoddwyd cyfarfod prydnawn Sabboth at hyn, a chawsom gyfarfod hyfryd iawn, fel y gallem adrodd y geiriau hyny,—

> "Dyma gyfarfod melus iawn,
> Myfi yn llwm, a'r Iesu 'n llawn;
> Myfi yn dlawd, heb feddu dim,
> Ac yntau 'n rhoddi pob peth im'."

Buom yn canu ac yn siarad yn yr awyr agored, pan y byddai y tywydd yn caniatâu, mewn amryw fanau yn y pentref yn ddiweddar. Derbyniad digon oeraidd gawsom ar y cyfan. Nis gallem gael ond ychydig iawn at eu gilydd i wrando. Safent gan mwyaf yn brysur eu tai, neu aent ymlaen gyda'u gorchwylion yn ddigon dihidio o'n cenadwri i bob ymddangosiad. Mewn un man daeth un o *rangbahs*—un o benaethiaid y pentref, yn y rhanbarth hwnw o hono, atom pan oeddym yn brysur yn canu, gan ofyn gydag awdurdod paham yr oeddym yn d'od i'w rhanbarth hwy i aflonyddu arnynt; nad oedd arnynt hwy ddim ein heisieu, ac nad oeddynt wedi gofyn i ni dd'od yno, ac am i ni beidio d'od yno byth ond hyny. Ac yna aeth i'w ffordd wedi ffromi yn aruthr. Ymddygasom tuag ato mor agos ag y gallem yn ol y cyfarwyddyd, "Byddwch chwithau gall fel seirph, a diniwed fel y colomenod." Gan nas gallem gael y bobl yn agos atom, angenrhaid a osodwyd arnom i lefain â'n ceg ac heb arbed, a dyrchafu ein llais fel udgorn, er mwyn iddynt glywed yn eu tai; a'n penderfyniad yw, "Er mwyn Sion ni thawaf."

Diarddelwyd dau o'r eglwys hon y mis hwn. Y cyntaf oedd U Wanhat, athraw gyda Mr. Evans yn Shangpung, am gamymddygiadau; ie, yn wir, am ymddygiadau gwarthus. Yr ail oedd U Siang Dome, am esgeuluso pob moddion o ras er ys pum' mis neu ragor, ac am ymddwyn yn dwyllodrus yn yr ymgyfreithio a fu ynghylch eiddo ei frawd, U Iang Dome—y blaenor hwnw a addawodd £200 at y capel newydd. Fel eich hysbysais fis yn ol, rhoddodd mam U Iang Dome, yr hon sydd bagan, *claim* yn y Llys yn Shillong am yr oll o'i eiddo, yn ol defod y pentref, meddai hi. Pa fodd bynag penderfynodd y *Deputy Commissioner* nad oedd gan yr hen wraig hawl i eiddo ei mab am ei fod yn Gristion, ac ei fod wedi cydfyw â'i wraig yn ei thŷ hi, ac wedi gadael tŷ ei fam er ys dwy flynedd ar hugain, ac am hyny mai ei wraig a'i blant a ddylai gael ei eiddo. Pe buasai wedi byw yn nhŷ ei fam hyd ddydd ei farwolaeth, a dim ond myned gyda'r hwyr i dŷ ei wraig, ac aros yno hyd y bore, ac yna myned i dŷ ei fam i fwyta a gweithio ar hyd y dydd, yn ol arfer cyffredin y pentref, yna buasai ei holl eiddo yn disgyn i ran ei fam; a buasai ei wraig

blant yn hollol ar drugaredd ei fam; os wisai roddi rhyw gymaint iddynt, rhodd- ond os na byddai yn ewyllysio gwneyd ny byddai raid iddynt foddloni ar fod heb im. Er fod U Siang Dome yn gwybod i ewyllys (nid oedd wedi ei hysgrifenu) frawd oedd i'w wraig a'i blant gael ei ll eiddo, ac iddynt ofalu am roi digon gynnaliaeth ei fam tra y byddai byw, profwyd ei fod ef yn un o'r prif symbyl- i geisio diddymu hyny os gellid trwy ymgyfreithio hwn. "Gwreiddyn pob wg yw ariangarwch," felly yr oedd yn amgylchiad hwn; ac y mae yn bechod rod iawn i amgylchu y bobl hyn.

Nos Fawrth diweddaf bu yma ddewis aenoriaid. Daeth Mr. Evans ac U gorsing yma, yn ol penderfyniad yr Hen- uriaeth ddiweddaf, i dderbyn llais yr lwys. Enwyd tri ar ddeg, ond dau yn ag a gafodd fwyafrif digonol i fod yn enoriaid. Y mae genym bedwar yn awr. a genyf allu dyweyd i'r ddau mwyaf ddychol a thangnefeddus sydd yn yr lwys gael eu dewis. U Kypa U Solomon ymbai, hen ŵr tua 60 mlwydd oed, yw i o honynt, ac U Katwar, ein prif athraw ysgol Jiwai, yw y llall.

Y mae cryn lawer o afiechyd wedi bod na, ac yn enwedig yn y pentref, yn ystod ddau fis diweddaf. O drugaredd yr Ar- wydd cawsom ein cadw yn rhyfedd yn y ntref Cristionogol; dau yn unig a fu irw—dau blentyn bychan. Yr oedd un r rhai'n yn blentyn o deulu a ddaeth o'r ntref i fyw at y Cristionogion tua mis yn l. Yr oedd hyn yn brofedigaeth lem i'r ulu, gan nad ydynt wedi ymysgwyd yn wyr oddiwrth eu syniadau paganaidd. n ol syniad y pentref rhyw *ddemon* neu lydd sydd yn dwyn pob afiechyd arnynt. fnem iddynt gadw at yr hen syniad eu od wedi digio y *demons* trwy dd'od i fyw t y Cristionogion, ac am hyny eu bod yn ial eu llid arnynt. Ond y mae yn dda enyf allu dyweyd iddynt ddal y prawf n dda, a'u bod wedi caniatâu i ni *gladdu* u hun bychan, yr hyn sydd brawf eu bod n bwriadu byw yn ein plith, neu ni fu- sent yn caniatâu hyn, ond yn hytrach yn ymeryd y corff ac yn ei losgi. Gobeithiaf deuant o hyd i'r Ceidwad mawr, yr hwn ddichon eu dyddanu yn eu trallod. Bu n o'r Cristionogion yn Nyrtiang farw yn led sydyn tua phythefnos yn ol. Cymer- wyd ef yn glaf boreu Sabboth, a bu farw tua chwech o'r gloch yr hwyr. Diarddel- wyd dau yno, un am dori y Sabboth a'r llall am briodi un o'r byd; derbyniwyd un i'r eglwys. Derbyniwyd un hen wraig i eglwys Nongtalang, ac un wraig ganol oed i eglwys Twa-a-sydia, ond diarddelwyd un yn y lle olaf am ymadael â'i wraig pan yr oedd hi yn foddlawn byw gydag ef, ac yntau heb feddu achos digonol i'w throi ymaith.

Derbynied Mr. a Mrs. Jones, Sir Fon, a Mr. E. P. Jones, Rhyl, ein diolchgarwch mwyaf diffuant am eu haelioni tuag at y gwaith yn nosbarth Jiwai. Yr wyf wedi bod yn hir cyn talu diolch iddynt, ond yr ydoedd yn y galon serch hyny. Aeth eu rhoddion hwy fel eu rhagflaenoriaid at y tô haiarn.

---

## DOSBARTH SHILLONG.

**Rhanau o Lythyr oddiwrth y Parch. T. Jerman Jones, dyddiedig Gorphenaf 17eg, 1883.**

Ysgrifenwyd y llythyr canlynol at un o gyfeillion hynaf a ffyddlonaf y Genadaeth.

Dydd Sadwrn diweddaf bum yn ymweled âg Wmsaw. Yr ydych yn gwybod am y pentref hwn sydd tua 9 milldir o Shillong ac eglwys ynddo i'r Arglwydd Iesu Grist. Nyni a gawsom gyfarfod gweddi am 7 yn yr hwyr, a math o seiat gymysg ar ol,—pawb yn aros ynddi, a minnau yn holi ac yn ymddyddan gair â hwn, a gair âg un arall, am ryw awr neu well. Cyfarfod gweddi am 6 bore Sabboth, a seiat ar ol, ac yr oedd tua 9 o'r gloch pan ddarfyddodd y cyfarfod hwn. Yr oeddwn yn ym- ddyddan â 7 o rai mewn oed oeddynt i gael eu bedyddio a'u derbyn yn gyflawn aelod- au y diwrnod hwnw. Pan ofynwyd i un hen wraig tua 60 oed, yr hon oedd wedi dyfod o bentref lled bell i Wmsaw, ai nid oedd arni awydd dychwelyd yn ol at ei duw- iau, a'r demoniaid, a'r hen bethau a'r hen bleserau,—cododd ei phen i fyny ac edrych- odd yn fy ngwyneb. "Awydd myned yn ol!" meddai; "nac oes arnaf yr un awydd byth am fyned yn ol; yr wyf yn caru yr Iesu, yr hwn a'm carodd i, ac a fu farw drosof. Myned yn ol! yr wyf wedi dyoddef gormod gan bechod a Satan i fyned yn ol eto, ac nid âf yn ol tra y bydd yr Iesu yn fyw." Am ddeg pregethais iddynt oddiar Act. xxvi. 18. Yna bed- yddiwyd 16 o bersonau—7 mewn oed a 9 o blant. Yr oeddynt oll yn dyfod at fwrdd bychan ac yn penlinio ar flocyn bychan ysgwar o'i flaen i gael eu bedyddio. Ymhlith y rhai a fedyddiwyd yr oedd dwy chwaer, o'r enw Ka Eri a Ka Phari, un yn 5 a'r llall yn 3 oed. Daeth y ddwy i gael ei bedyddio ar unwaith, a'u mam yn sefyll o'r tu ol iddynt, ac yn edrych yn ddyfal arnynt. Penliniodd yr hynaf ar y blocyn yn gymhwys ar gyfer y llestr a'r dwfr, a'r fechan arall ar gŵr y blocyn wrth ei hochr. Ar ol bedyddio yr henaf, yr oeddwn yn meddwl bedyddio y chwaer

fach heb iddynt symud; ond dyma y fechan yn gwthio yr hynaf ymaith, ac yn penlinio yn union ar gyfer y bason, ac yn codi ei gwyneb bach anwyl i fyny i edrych at y cwpan; ac wedi gweled ei bod yn iawn rhoes ei dwylaw wrth eu gilydd, ac arosodd yn hollol lonydd nes gorphen y seremoni; yna cododd yn araf ac aeth at ei mam. Ni welais er ys tro beth mor naturiol, mor syml ac mor effeithiol. Duw pob gras a'i bendithio! Yr oedd yno 81 yn cyfranogi o'r ordinhâd. Y fath destun diolch! Pum' mlynedd yn ol yr oedd y rhai hyn yn addoli y demoniaid.

Mor dda genyf ddeall eich bod yn dal yn iach a chryf i wasanaethu eich cenedl-aeth, a gwneyd daioni yn eich oes: rhodded yr Arglwydd i chwi lawer o ddyddiau eto ar y ddaear, ïe, oes faith byth ac yn dragywydd.

Diolch filoedd i chwi ac i'r holl eglwys gartref am gofio am y Khasiaid mewn gras a haelioni; hwy ddiolchant i chwi byth yn y wlad yr ochr draw i'r afon.

---

## CYFNEWIDIAD YN NHERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr. Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain. Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddi-oedi ymhob eglwys i wneyd y casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad angenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

Dymunir galw sylw neillduol at y penderfyniadau canlynol a basiwyd gan y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf.

1. Ein bod yn dymuno ar i bob Cyfarfod Misol a Henaduriaeth benu ar ryw fis neillduol yn yr hwn i wneuthur y casgliad tuag at y Genadaeth Dramor, ac annog yr eglwysi i wneyd pob ymdrech i gwblhâu y casgliad o fewn y mis hwnw.

2. Ar fod i sylw neillduol gael ei alw at yr achos cenadol yn y Cyfarfod Misol am dro neu ddau cyn yr adeg y gwneir y casgliad.

3. Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd cenadol perthynol i'r sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysorydd Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

Gan fod blwyddyn y Genadaeth i derfynu ar ddiwedd Rhagfyr, taer erfynir ar i swyddogion eglwysig, arweinwyr cyfarfodydd plant, &c., annog y plant i ddechreu defnyddio y Blychau a'r Tocynau ar unwaith.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| "Cymraes" | 0 | 2 | 6 |
| Tabernacle, New Quay | 12 | 18 | 1 |
| Dwyrain Morganwg, trwy law Mr. W. Charles, Trecynon, Aberdâr, y Trysorydd Sirol | 5 | 13 | 10 |
| Elw y "*Breton Mission Net*," New Quay | 0 | 13 | 0 |
| "Myllin" | 0 | 5 | 0 |

D.S. Dymunir hysbysu na chydnabyddir yn y Cronicl Cenadol rhagllaw unrhyw symiau ond a fyddant yn llaw y Trysorydd Cyffredinol erbyn y 15fed o'r mis blaenorol.

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, John Griffith, Esq., 72 *Tower Buildings, Water Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

---

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 637.] TACHWEDD, 1883. [LLYFR LIII.

## DUWINYDDIAETH A MOESDDYSG.

GAN Y PARCH. W. THOMAS, DYFFRYN ARDUDWY.

DAU air a ddefnyddir yn fynych gan dduwinyddion ac athronwyr ydyw *dogmatics* ac *ethics*. Mewn duwinyddiaeth y mae'r gair *dogmatics* yn golygu pynciau neu athrawiaethau crefydd. Pan yn trafod yr athrawiaethau hyn fel *dogmas*, edrychir arnynt yn y wedd uchaf a berthyn iddynt: y wedd ag sydd yn eu gwahaniaethu ar y naill law oddiwrth opiniynau a syniadau dynol, ac ar y llaw arall oddiwrth arwireddau rhifyddiaeth a mesuroniaeth. Pob syniad neu ddrychfeddwl dynol, rhaid i'r meddwl ei ddeall drwyddo cyn y gall ei dderbyn; ac wedi y dealler ef, rhaid ei fesur a'i bwyso, a chaiff ei dderbyn a'i gredu yn ol y graddau y bydd yn cyttuno â'r hyn a gydnabyddid yn flaenorol fel gwirionedd. Y tir a gymer y meddwl gyda golwg ar bob syniad neu feddylddrych a gyflwynir i'w sylw ydyw ammheuaeth. Yr ammheuaeth hwn sydd yn peri iddo ymbwyllo ac ystyried, holi a chwilio, cyferbynu a barnu; a ffrwyth hyn oll a fydd derbyn neu wrthod y syniad. Am osodiadau rhifyddiaeth, y mae math o angenrheidrwydd yn bod ynddynt. Mor gynted ag y cyflwynir hwy i sylw, credir hwy am fod y rheswm ar unwaith yn eu cadarnhâu. Y maent yn cario y prawf o'u gwirionedd ynddynt eu hunain. Yn awr y mae athrawiaethau Cristionogaeth yn wahanol i'r naill a'r llall. Nid ydynt yn appelio at y deall yn yr un ystyr â syniadau a meddylddrychau dynol, oblegid y mae ynddynt y fath ddyfnder a dirgelwch nas gall un meddwl ar y ddaear eu hamgyffred. Nid ydynt ychwaith yn dibynu ar y rheswm am eu cadarnhâd, oblegid y maent uwchlaw rheswm, er nad ydynt yn wrthwyneb iddo. Ffydd ydyw y cychwynfan mewn duwinyddiaeth. Rhaid credu mewn trefn i ddeall. Duwinyddiaeth bynciol *(dogmatic)*, gan hyny, ydyw yr un sydd yn trafod athrawiaethau crefydd fel y maent i'w deall trwy ffydd.

Y geiriau sydd yn cyfleu oreu yr ystyr a roddir yn gyffredin i'r gair *ethics* ydyw moeseg neu moesddysg. Enw ydyw a roddir ar foesoldeb yn y gyfundrefn o hono; ac y mae moesddysg Cristionogaeth yn golygu cyfundrefn o foesoldeb yn sylfaenedig ar athrawiaethau crefydd Crist. Y mae hyny yn cynnwys fod perthynas agos rhwng *ethics* a *dogmatics*, neu foesoldeb a chrefydd. Perthynas dyn a Duw ydyw pwnc mawr y naill a'r llall. Dibyniaeth dyn ar Dduw ydyw hanfod y berthynas hon mewn crefydd; ewyllys y dyn ydyw hanfod y berthynas a gynnwysir mewn moesoldeb. Perthynas oddefol ydyw yr eiddo crefydd. Nid oes gan y dyn help ei fod yn ddibynol ar Dduw, ac nis gall ddianc rhag cael gweithredu arno gan Dduw, na chau ei hunan rhag yr amlygiadau o bresennoldeb Dwyfol sydd o'i amgylch mewn natur a dadguddiad. Y mae angenrheidrwydd yn y berthynas, nas gall dyn ei ddiddymu. Eto pan ystyriom ei bod yn dibynu ar y dyn ei hun i fesur pa un a gaiff yr amlygiadau o ddaioni ac uniondeb yr Anfeidrol mewn natur a rhagluniaeth, ïe, pa un a gaiff dylanwadau uwch yr efengyl, y dadguddiad ysbrydoledig, ddyfodfa i'w galon

ac effaith briodol ar ei ysbryd, gwelwn fod ewyllys rydd yn elfen yn y berthynas. Yr un yw y ddwy berthynas; ac nid yw crefydd a moesoldeb ond dwy agwedd wahanol arni. Y mae *ffydd* yn uno y ddwy wedd; oblegid y mae ffydd yn cynnwys ymddiried ac ufudd-dod; hyder ac ymorphwysiad yr enaid ar Dduw, ac ufudd-dod i'w orchymynion: ymostyngiad rhydd a gwirfoddol yr ewyllys ddynol i'r ewyllys Ddwyfol. Oblegid y berthynas hon sydd yn bod rhwng athrawiaethau crefydd a moesoldeb buchedd, yr oedd *ethics* yn cael ei chymeryd i fewn fel rhan o dduwinyddiaeth.

Yn ddiweddar mewn cymhariaeth y ffurfiwyd moesddysg yn gangen ar ei phen ei hun. Mantais fawr i dduwinyddiaeth, ac i foesddysg Cristionogaeth, ydoedd hyn, er deall yn well derfynau y naill a'r llall; oblegid tra nad ydynt i'w gwahanu y maent i'w gwahaniaethu. Camgymeriad ein tadau oedd colli golwg ar y gwahaniaeth hwn yn eu dysgeidiaeth,—rhoddi yr holl sylw i'r pynciau heb geisio ffurfio cyfundrefn o foesddysg yn gystal ag o athrawiaeth. Erbyn hyn y mae y pwn wedi troi i'r ochr arall. Tuedd ein hoes ni ydyw ysgar duwinyddiaeth a moesddysg, gwahanu athrawiaethau crefydd oddiwrth foesoldeb buchedd, a gwadu bodolaeth unrhyw berthynas rhyngddynt. Edrychir ar bynciau a dyledswyddau, athrawiaethau a moesau, gan ddysgeidiaeth boblogaidd y dyddiau hyn, fel pethau hollol anmherthynasol; a haerir nad ydyw o unrhyw bwys i ddyn beth fydd ei gredo er ei alluogi i ffurfio cymeriad pur ac anrhydeddus. Gwrthwyneb hollol i hyn ydyw dysgeidiaeth y Bibl. Yr athrawiaethau ydynt y gwreiddiau, a'r grasusau yn ffrwyth—yr athrawiaethau yn sylfaen, a'r dyledswyddau yn oruwchadeiladaeth. Y mae yr Apostolion yn gyffredin yn sylfaenu eu cymhellion i ddyledswydd ar athrawiaeth. Yn yr epistol at y Philippiaid, sylfaenir yr annogaeth i hunanymwadiad a gostyngeiddrwydd ar ymddarostyngiad yr Arglwydd Iesu. Y prif gymhelliad ar i'r Hebreaid fod yn ffyddlawn a glynu yn eu proffes ydyw, mawredd Person Crist. Yr un modd, y mae Pedr yn troi athrawiaeth y prynedigaeth, a'r farn ddiweddaf, yn gymhellion i sancteiddrwydd a duwioldeb.

Gwelir oddiwrth hyn fod y fath berthynas rhwng yr athrawiaeth am Grist a'r moesoldeb a ddysgir ganddo, fel y mae y naill yn hanfodol i'r llall. Di fyddai i'r rhai sydd yn wastadol yn grwgnach oblegid y pynciau, ac yn ymosod ar bregethu athrawiaethau, ni fyddai, meddwn, iddynt gofio mai gormod gorchwyl iddynt hwy, na neb arall, a fydd cynnyrchu purdeb a rhinwedd mewn bywyd ymarferol unwaith yr ymlidir yr hen athrawiaethau allan o'r tir.

Y mae y berthynas sydd rhwng duwinyddiaeth a moesddysg i'w gweled ymhellach yn y wedd foesol sydd ar holl wirioneddau mawrion Cristionogaeth. Edrychwn i ddechre ar arfaeth Duw, bwriadau a chynlluniau y Meddwl Dwyfol. Y maent yn cael eu cario allan yn ngwaith y greadigaeth, mewn rhagluniaeth, ac yn sancteiddiad y saint. Rhaid cyflawni y bwriadau hyn. Byddant wedi eu cwblhâu yn llwyr yn mherffeithiad yr eglwys. "Pan adeilado yr Arglwydd Sïon, y gwelir ef yn ei ogoniant." Rhaid adeiladu Sïon pwy bynag fydd yn gwrthwynebu, oblegid y mae arfaeth o'r tu cefn. Rhaid i fawl gogoniant ei ras Ef gael ei gyrhaedd er gwaethaf cynddaredd y gelynion, oblegid "cynghor yr Arglwydd, hwnw a saif." Dyna y wedd dduwinyddol ar yr arfaeth. Y mae moesddysg drachefn yn edrych ar y bwriadau Dwyfol fel y maent yn cael eu cwblhâu trwy weithrediadau gwirfoddol ewyllys y dyn; dynion yn gweithredu yn rhydd a diorfod, ond eto drwy hyny yn cyflawni arfaeth Duw. Dengys duwinyddiaeth yr hyn oedd, yr hyn sydd, a'r hyn sydd yn sicr o fod yn y dyfodol, tra y dengys moesddysg yr hyn a ddylai a'r hyn na ddylai fod.

Y ddeddf foesol hefyd sydd â'r ddwy wedd yn perthyn iddi. Mewn duwinyddiaeth y mae'r ddeddf yn cael edrych arni yn benaf fel dadguddiad o natur ac ewyllys Duw. Ynddi y cyflëir egwyddorion tragywyddol y natur Ddwyfol, ac fel y cyfryw y mae yn meddu perffeithrwydd ac anghyfnewidioldeb. Mewn moesddysg, drachefn, edrychir ar y ddeddf yn ei pherthynas â dyn fel gweithredydd moesol. Ac wrth edrych arni yn y berthynas hon, rheol ydyw y ddeddf sydd yn rhwymedig ar bob dyn. Yn ei hôl hi y gelwir arno i ymddwyn a gweithredu, a hawlia gydymffurfiad ei ewyllys â'i gorchymynion. Y gyfraith hon yn ei

pherthynas â dyn sydd yn ymddadblygu i gyfundrefn o ddyledswyddau.

Gellir dangos fod yr un peth yn bod gyda golwg ar bechod. Y mae duwinyddiaeth yn edrych ar bechod yn ei wedd gyffredinol fel halogrwydd neu lygredigaeth yn y natur, yn disgyn i lawr o dad i fab yn rhinwedd y berthynas naturiol a chyfammodol ag sydd rhyngddynt âg Adda, tad dynolryw. Y mae moesddysg drachefn yn edrych ar bechod yn ei wedd neillduol a phersonol. Nid etifeddiaeth a dderbyniodd dyn gan ei dadau yn unig ydyw ei fywyd pechadurus, ond ffrwyth ei ewyllys ef ei hunan. Y mae cymeriad moesol pob dyn yn beth o'i ffurfiad ef ei hun. Efe sydd yn gyfrifol am dano. "Wele mewn anwiredd y'm lluniwyd, ac mewn pechod y beichiogodd fy mam arnaf." "Canys Duw a'u cauodd hwynt oll mewn anufudd-dod, fel y trugarhâi wrth bawb" (Rhuf. xi. 32). Dyna y wedd dduwinyddol. "Na ddyweded neb, pan demtir ef, Gan Dduw y'm temtir; canys Duw nis gellir ei demtio â drygau, ac nid yw efe yn temtio neb. Canys yna y temtir pob un, pan y tyner ef, ac y llithier, gan ei chwant ei hun" (Iago i. 13, 14). Dyna'r wedd foesol.

Person Crist yn ddiammheu sydd yn meddu y lle pwysicaf mewn duwinyddiaeth a moesddysg. Crist fel Cyfryngwr rhwng Duw a dynion ydyw gwirionedd mawr duwinyddiaeth. Yr athrawiaethau sydd yn gorwedd yn y maes hwn ydynt Dduwdod a dyndod Crist, undeb y ddwy natur yn ei Berson, ei farwolaeth iawnol, a'i adgyfodiad a'i ddyrchafiad ar ddeheulaw y Tad, fel Prynwr a Gwaredwr y ddynoliaeth. Bywyd a chymeriad yr Iesu sydd yn cael y lle pwysicaf mewn moesddysg. Yn ei ddysgeidiaeth cawn y gyfundrefn gyflawnaf a pherffeithiaf o foesddysg ag sydd yn bod; ei gymeriad ef ydyw y moesoldeb ymarferol puraf ac aruchelaf a welodd y byd erioed, ac a wêl byth. Dyrchafu Crist fel esiampl ydyw gwaith moesddysg; ei osod i fyny fel cynllun o fywyd perffaith. "Yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau." Trwy ei esiampl y mae yr Iesu wedi gwneyd ei hunan y dylanwad moesol cryfaf mewn bod. Ei burdeb dilychwin, ei hunanymwadiad a'i hunanaberthiad gwirfoddol, ydynt y dylanwadau moesol cryfaf a ddichon weithredu ar feddwl dyn. Yr oedd moesoldeb yn y byd cyn i Grist ddyfod iddo. Yr oedd gan ddysgawdwyr paganaidd eu cyfundrefnau o foesddysg. Ond meirw oedd y cyfan. Yr Iesu oedd y cyntaf i roddi bywyd yn ei ddysgeidiaeth. Gwnaeth hyny trwy *fyw* yr egwyddorion a ddysgai. Yn ei gymeriad goruchel ymddyrchafa yn dragywyddol uwchlaw pob dyn a sangodd y ddaear. Efe ydyw y safon, y nôd i gyrchu ato. Dymuniad dyfnaf y credadyn ydyw bod "yr un ffurf â'i ddelw ef."

Y mae dwy wedd hefyd ar y ddysgeidiaeth ysgrythyrol am eglwys Crist. Edrychir arni fel sefydliad Dwyfol. Duw ydyw ei sylfaenydd a'i hadeiladydd, ac efe fydd yn ei chwblhâu yn y diwedd. Teml ysbrydol y Duwdod yw yr eglwys; "eglwys y Duw byw, colofn a sylfaen y gwirionedd." "Yn yr hwn y'ch cyd-adeiladwyd chwithau yn breswylfod i Dduw drwy yr Ysbryd." Yr eglwys ydyw corff Crist, ac fel y cyfryw y mae yn holl-ddibynol ar y Pen, yn derbyn ei bywyd o hono, ac yn cael ei llywodraethu ganddo. Dyma y wedd athrawiaethol ar yr eglwys. Tra yn cydnabod Dwyfoldeb yr eglwys fel sefydliad, y mae moesddysg yn aros yn benaf ar y ffaith ei bod yn cael ei chyfansoddi o ddynion. Cymdeithas y saint yw hi, corff Crist; eto y mae pob aelod yn y corff yn fôd personol a chyfrifol. Y maent yn rhwymedig i gydymdeimlo â'u gilydd, ac i gydweithredu a chynnorthwyo eu gilydd. Amcan penaf pob un a ddylai fod adeiladaeth yr eglwys. Y mae perffeithiad yr eglwys i gael ei gyrhaedd trwy berffeithiad pob aelod ar ei ben ei hun. Ac y mae y perffeithrwydd, bod ar ddelw Crist, i'w gyrhaeddyd trwy lafur ac ymdrech bersonol y dyn ei hunan. "Ceisiwch ragori tuag at adeiladaeth yr eglwys" (1 Cor. xiv. 12). "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid, ac yn athrawon, i berffeithio y saint i waith y weinidogaeth i adeilad corff Crist" (Ephes. iv. 11, 12). Dyma y wedd foesol. Fel hyn gwelir fod perthynas agos yn bod rhwng moesddysg a duwinyddiaeth, a bod y naill mor Fiblaidd a'r llall. Y mae y ddwy wedd yn angenrheidiol er cael gafael ar yr holl wirionedd. Gwelir hyny yn amlycach ynglŷn â'r

athrawiaeth am Berson yr Arglwydd Iesu nag un athrawiaeth arall. Crist ydyw canolbwynt yr Ysgrythyrau. Ei farwolaeth ef ydyw canolbwynt duwinyddiaeth, a'i fywyd ydyw canolbwynt moesddysg Cristionogaeth. Undeb y ddau wirionedd, marwolaeth ac esiampl Iesu Grist, ydyw iachawdwriaeth y byd.

---

## EIN LLYSOEDD EGLWYSIG.

### Y GYMANFA GYFFREDINOL.

*Gan y Parch.* J. EIDDON JONES, *Llanrug.*

GAN ein bod wedi gwneyd tipyn o sylwadau ar y Cyfarfod Misol a'r Gymdeithasfa er ys peth amser yn ol, ni bydd ein llithoedd yn gyflawn heb sylw neu ddau ar y Gymanfa Gyffredinol. Dyma yr ieuengaf, mewn ystyr, o'n llysoedd, ac un nad yw wedi ei dodi i mewn yn ein *Constitutional Deed* a'n *Cyffes Ffydd.* Sylwai y Parch. J. Hughes, D.D., Liverpool, y gallai y *Cyffes Ffydd* ddyweyd yn iaith yr ysbryd dewiniaeth yn llyfr yr Actau, "Y Gymdeithasfa a adwaen, a'r Cyfarfodydd Misol a adwaen; ond pwy ydych chwi (y Cyfarfodydd Dosbarth)?" Gallasai y Parchedig Ddoctor gynnwys y Gymanfa Gyffredinol hefyd yn yr un sylw. Mae yn wir fod y Gymanfa hon wedi cael bodolaeth trwy awdurdodiad y ddwy Gymdeithasfa; ond y mae y Cyfarfod Dosbarth hefyd yn cael ei gydnabod gan bob un o'r ddwy Gymdeithasfa yn eu rheolau ar dderbyn pregethwyr. Felly mae y ddau yn gorphwys ar yr un tir. Ond er mai y Gymanfa yw yr ieuengaf o'n llysoedd, hi, mae yn debyg, yw y fwyaf trefnus yn ei gweithrediadau; ac y mae yn llwyddo yn bur dda i fyned trwy lawer iawn o waith yn ystod ei heisteddiad. Nid oes ganddi ond y cyfryw awdurdod âg a roddwyd iddi gan y Cymdeithasfaoedd; ond y mae y materion a ymddiriedwyd iddi erbyn hyn yn lled liosog, ac yn bur bwysig. Dan ei rheolaeth hi bron yn gwbl y mae y Genadaeth Dramor, cyhoeddiadau y Cyfundeb a'r *Llyfr Hymnau* (oni ddylai y llyfr Tônau fod hefyd?), yr ystadegau, ymdrafodaeth â'r cyrff Presbyteraidd eraill, yr Ysgol Sabbothol, Dirwest, a rhai pethau eraill, megys yr ymchwiliad i feddiannau y Cyfundeb, &c. Y mae y pethau hyn yn cael eu trafod mor gyflawn ar y cyfan ag y gellesid dysgwyl. Ac fel y mae y Gymanfa hon yn gallu gwneyd gwaith, y mae ei dylanwad yn cryfhâu o flwyddyn i flwyddyn. Sylw bythgofiadwy oedd hwnw a wnaed gan y diweddar Barch. Henry Rees yn un o'r Cymanfaoedd cyntaf, pan ofynodd rhywun beth oedd awdurdod y Gymanfa Gyffredinol, fod awdurdod yn beth i'w ennill ac nid i'w hawlio. Cadwed y Nefoedd ein llysoedd eglwysig heb fynu i hòni awdurdod heb ei ennill; ac os bydd wedi ei ennill trwy wasanaeth defnyddiol, efe a orwedd yn deg ar ysgwyddau y Cyfundeb.

Un neillduolrwydd sydd yn perthyn i'r Gymanfa hon ydyw ei bod yn penodi ei phwyllgorau ei hunan, ac nid galw ar y Cyfarfodydd Misol na'r Cymdeithasfaoedd i wneyd hyny iddi. Felly y gwneir â'r oll oddieithr Cyfarwyddwyr y Genadaeth Dramor; ac y mae Pwyllgor Gweithiol y Genadaeth hòno yn cael eu hethol gan y Gymanfa ei hun. Diau fod hyn yn iawn; ac hwyrach y byddai yn ddoeth i'r Cymdeithasfaoedd ystyried ai nid gwell a mwy priodol fyddai mabwysiadu y ddalen hon o lyfr y Gymanfa? Y mae ychydig o anhawsder, pa fodd bynag, gyda chyfarfyddiad y Pwyllgorau hyn, gan fod eu cyfarfyddiad ar wahân i'r Gymanfa yn peri anghyfleusdra a thraul. Mewn cysylltiad â hyn, y mae genym awgrymiad o welliant, ac hwyrach, yr unig un a gynnygiwn mewn cysylltiad â'r Gymanfa, a dyma ydyw:— Onid gwell fyddai i ryw adeg yn ystod y Gymanfa gael ei neillduo i gyfarfyddiad y Pwyllgorau? Dyweder fod y Gymanfa yn agor gyda anerchiad y Llywydd ar nos Lun, a bod bore ddydd Mawrth yn cael ei adael i'r Pwyllgorau gyfarfod, ac eisteddiadau y Gymanfa yn dilyn wed'yn ymlaen. Gwyddom mai yr wrthddadl a godir yn erbyn hyn yw fod rhai personau yn perthyn i amryw bwyllgorau, ac felly nas gallent fod mewn mwy nag un ar unwaith. Ond dyma'r hyn y tybiwn y byddai yn dda ei ddileu; oblegid y mae digon o adnoddau a thalentau ymhlith ein cynnrychiolwyr ag y byddai yn fendith i'r Cyfundeb wneyd defnydd o honynt, heb nodi yr un personau ar fwy nag un Pwyllgor. Wrth gwrs, y mae pawb yn cydnabod fod rhai mwy cymhwys na'n gilydd at bob gorchwyl; ond gellid cadw golwg ar hyn yn ddigon priodol, ac ar yr un pryd rannu y gwaith. Tybier fod y ddau Lywydd, a'r ddau Ysgrifenydd a'r Trysorydd, yn cyfarfod â'u gilydd am awr neu ddwy ryw adeg cyn cyfarfod cyntaf y Gymanfa, fel *nomination committee.* Y mae enwau y cynnrychiolwyr oll, ac aelodau y Gymanfa, yn hysbys i'r Ysgrifenyddion ymlaen llaw, neu, o leiaf, dylent fod, a byddai yn hawdd trefnu iddynt fod. Gallai y *committee* hwn rannu y Gymanfa yn saith, wyth, naw, neu ychwaneg o Bwyllgorau, yn ol fel y byddai eisieu, ac yna gellid darllen y *list* hono yn nghyfarfod cyntaf y Gymanfa y noson gyntaf. Yn wir, ni byddai ond ychydig o drafferth i'w hargraffu i'w rhoi yn llaw yr holl aelodau, wedi hefyd drefnu màn cyfarfyddiad pob pwyllgor; ac yna byddai

ob peth yn hwylus iddynt oll gyfarfod newn gwahanol fanau bore dranoeth am ldeg o'r gloch. Gwnai cynllun fel hyn rbed llawer o gostau a choll amser i elodau y Pwyllgorau; ac, ymhellach, hoddai le i bob aelod o'r Gymanfa fod â'i aw ar ryw gyfran o'r gwaith, ac nid dyfod yno yn unig i gymeradwyo pethau y mae raill wedi eu rhagdrefnu. Gallai hyn roddi mantais hefyd i'r Gymanfa sicrhâu presennoldeb a gwasanaeth rhai brodyr, y rhai o herwydd profiad a gweithgarwch y mae yn anghenrheidiol i'r Gymanfa wrthynt—o blith y gweinidogion â'r blaenoriaid, er na byddent yn gynnrychiolwyr nac yn gyn-lywyddion; a dyma beth y mae y Gymanfa i ryw raddau, a'r Cymdeithasfaoedd yn arbenig, yn teimlo oddiwrtho. Yr ydym yn tybied y gwnai'r cynllun hwn gyrhaedd dau amcan y byddai yn dda eu cael: dal gafael yn yr hen aelodau, a rhoddi cyfle i'r newydd ddysgu rhoddi eu llaw ar yr aradr. Ac nid ydym yn tybio fod dim anhawsder i'w gario allan na wnelai ychydig o brawf arno ddangos y ffordd i ddyfod drosto.

Y mae un mater neu faes yn ychwaneg yr ydym yn teimlo fod yn anghenrheidiol iawn i'r Gymanfa gael troi ei hwyneb iddo. Dyna yw: ymdrin âg agwedd yr oes a chrefydd yn ein plith fel Cyfundeb. Y mae hwn, mae yn wir, yn faes ëang iawn, ond y mae hefyd yn annhraethol bwysig; a dyfod at hwn mewn rhyw ystyr ydyw amcan yr holl bethau eraill, a hanfod y lles sydd i ddeillio o gyfarfyddiad Cymanfa. Ac eto y mae y pethau llai pwysig yn myned â'r holl amser, fel nad ydyw hwn yn cael ei gyrhaedd. Sylwasom fod hyn yn ddiffyg yn y Cymdeithasfäoedd Chwarterol. Dyma y gwahaniaeth mawr rhwng ein Cymanfa âg undebau yr enwadau eraill. Nid oes ganddynt hwy nemawr ddim gwaith mewn trefniadau; a threulir y cyfan mewn ymdriniaethau ar bynciau pwysig yn dal cysylltiad â chrefydd a'r oes, ar ba rai y darllenir papyrau ac y ceir ymdriniaethau. Bron na ddywedem fod hyn ynddynt hwy mewn perygl o fyned yn eithafol, ac iddynt lithro i gyffwrdd yn llawn digon pell â materion politicaidd, neu mewn ffyrdd eraill o'r tu allan i'w cylch priodol. Yr ydym ninnau yn rhy ddiffygiol yn hyn. Gwir y buwyd yn ceisio cael ychydig o bapyrau unwaith neu ddwy; ac y mae y ddarpariaeth hono yn aros yn nghyfansoddiad y Gymanfa eto; ond rhoddwyd ef heibio er ys amser maith. A ydyw yr amcan yma i gael ei golli? Tybier fod un o'r Pwyllgorau yn cael ei benodi i ystyried beth yw'r materion y mae agwedd crefydd neu yr oes yn gofyn ystyriaeth ddwysaf y Cyfundeb, a bod brawd yn cael ei benodi i agor y mater hwnw mewn adeg y ceid ymdriniaeth arno yn y Gymanfa. Ië, i *agor y pwnc* a ddywedasom. Rhyfedd mor anhawdd yw cael dynion i ddeall beth a feddylir wrth agor y mater! Darllenir papyr neu rhoddir anerchiad am hanner awr neu dri chwarter, yn ceisio dyhysbyddu y pwnc, fel na bydd gan neb arall ddim i'w ddyweyd arno, yn lle treulio deng mynyd neu chwarter awr i awgrymu gwahanol gyfeiriadau, neu gyfodi nifer o gwestiynau i'r frawdoliaeth eu hystyried a'u hateb. Dyma, er esiampl, un pwnc: Pa fodd i ymddwyn yn briodol at ddiwygiadau lleol ac achlysurol sydd yn cymeryd lle yn ein plith, ac i wneyd y defnydd goreu o honynt er deffröad ysbrydol i'n heglwysi? Dyma un arall: Yr anghenrheidrwydd am i'n heglwysi ymdrechu ymëangu, trwy godi Ysgolion Sabbothol mewn cŷrau o'u cymydogaethau, cyfarfodydd gweddïau cylchynol, a phregethu mewn tai, i geisio ennill y boblogaeth i wrando yr efengyl. Tybiem y buasai ymdriniaeth bwyllog ar ambell fater fel hyn gan gynifer o wŷr doethaf a mwyaf crefyddol ein Cyfundeb ag a gyferfydd yn y Gymanfa, yn symbyliad ac yn adeiladaeth fuddiol i'r holl Gorff. A rhaid i ni ddyfod at hyn. Os yw arwyddion yr amserau yn dangos rhywbeth, y maent yn dangos fod y wlad yn dechre blino a grwgnach ar drefniadau parhâus yn ein llysoedd, heb iddynt fod yn arweinyddion iddi yn yr ymgyrch ysbrydol. A dyma lle yr ydym mewn perygl i'r enwadau eraill fyned â'r llawryf oddiarnom. Y mae Cymdeithasfäoedd y Methodistiaid wedi gwneyd gwaith mawr fel hyn mewn amser a basiodd; ac y mae genym y moddion a'r cyfleusdra i wneyd hyn yn yr amser presennol. Bron na ddywedem mai dyma enaid ein Cymanfäoedd, a bod hwn yn llawer mwy pwysig na threfnu meddiannau ein Cyfundeb, a thalu dyledion ein capelau.

Ond, wele ni wedi ymhelaethu mwy nag a fwriadasom; a chyda hyn yr ydym yn gadael ein llysoedd eglwysig, gan ddymuno eu gweled yn cynnyddu beunydd mewn pob gras ysbrydol.

---

## TYSTION IESU GRIST.

YMDDENGYS na bu neb erioed â chymaint o amrywiaeth barnau ac opiniynau yn ei gylch â'n Gwaredwr mawr pan yma yn nyddiau ei gnawd ar y ddaear. Er iddo gael ei anfon yn nghyflawnder yr amser, a dyfod yn hollol yn ol fel y rhaghysbyswyd o enau y prophwydi y byddai iddo ymddangos, eto pan y gwnaeth ei ymddangos-

iad, "y byd nid adnabu ef." Mynai rhai mai Ioan Fedyddiwr wedi adgyfodi ydoedd, eraill mai Elias, ac eraill mai Jeremïas neu un o'r prophwydi. Fel hyn, tra y ceid rhai yn barod i gyfaddef ei fod yn rhywun pur fawr, ychydig wedi y cyfan a fynent ei gydnabod yn fwy na dyn; ac o ganlyniad mynych iawn y byddai ei wyrthiau a'i weithredoedd grymus yn eu syfrdanu a'u taflu i fath o ddyryswch blin; a phan nas gallent mewn unrhyw fodd wadu gwiredd a mawredd ei wyrthiau, mynent eu cyfrif i weithrediad Beelzebub, penaeth y cythreuliaid. "Nid yw hwn," meddent, "yn bwrw allan gythreuliaid ond trwy Beelzebub, penaeth y cythreuliaid." Llawer gwaith y cawn ddarfod i'r Iesu gynhyrfu gwrthwynebiad ei gaseïon trwy iachâu rhyw glaf neu gilydd ar y dydd Sabboth. Felly y cawn i'w wyrth ar y dyn claf y ceir ei hanes yn Ioan v. effeithio arnynt. Cawn fod y truan hwn wedi bod yn rhwym yn nghadwynau afiechyd am yr yspaid maith o ddeunaw mlynedd ar hugain, ac wedi myned mor ddigysur a diymgeledd fel nad oedd ganddo neb, yn ol ei dystiolaeth ef ei hun, i'w fwrw i'r llyn pan gynhyrfid y dwfr. Gallasem dybied y buasai y fath weithred o drugaredd ar ei ran yn effeithio yn dda ar bawb nes peri iddynt dori i ganmawl yr Iesu yn ddiddiwedd am ei gymwynasgarwch tuag at y dyn hwnw; ond, yn ol fel y dygwyddai yn fwyaf cyffredin, cawn mai i'r gwrthwyneb y bu. Yn lle talu parch a gwarogaeth iddo fel yr haeddai, yr Iuddewon a'i "herlidiasant ef, ac a geisiasant ei ladd ef, oblegid iddo wneuthur y pethau hyn ar y Sabboth." Ac i amddiffyn ei hun yn ngwyneb eu hymosodiadau y mae yr Iesu yn dwyn ger eu bron bedwar o dystion er dangos pwy ydoedd, ynghyd ag egluro iddynt ei hawliau, sef, ei Dad, Ioan Fedyddiwr, ei Weithredoedd ei hun, a'r Ysgrythyrau.

Y tyst cyntaf a ddwg ef i'w sylw i gyfiawnhâu ei weithred uchod ar y Sabboth, yn gystal a diwrnod arall, ydyw EI DAD. "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finnau yn gweithio." Yr oedd ac y mae'r Tad yn parhâu i weithio hyd yn hyn mewn *creadigaeth* yn un peth. Er nas gellir dyweyd ei fod yn dwyn yr un rhywogaeth newydd i fôd wedi gorphen gwaith y chwe' diwrnod cyntaf, eto y mae efe o hyd yn llïosogi y rhywogaethau hyn, ac yn creu eneidiau babanod, a hyny trwy y Gair fel gweithredydd. "Canys trwyddo ef," medd Ioan, "y gwnaethpwyd pob peth, ac hebddo ef ni wnaethpwyd dim a'r a wnaethpwyd." Tra mai y Tad yw yr achos gwreiddiol o'r greadigaeth, y Mab ydyw yr achos gweithredol o honi. Felly nid oedd yr Iesu yn hòni gormod yn yr ystyr uchod wrth ddyweyd "Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finnau yn gweithio."

Ond y mae y Tad yn gweithio hefyd mewn ystyr ragluniaethol, sef yn *nghynaliad a llywodraethiad* yr holl greadigaeth. Y mae yn gofyn yr un gallu anfeidrol i reoli y greadigaeth ag a roddodd fôd iddi ar y dechre. "Ei dragywyddol allu ef a'i Dduwdod" a welir yn y naill a'r llall. Ei weithgarwch diflin a diorphwys ef sydd yn peri fod pobpeth yn y drefn ddymunol a welir. Ond, medd rhywun, Ai dyweyd yr ydych fod Duw yn parhâu i weithio yn gyson? Oni ddywedir yn bendant yn y gyfrol sanctaidd ei hunan ddarfod i Dduw ar derfyn y chweched dydd "orphwys oddiwrth ei holl waith!" Gwir, ond nid gorphwys mewn segurdod ac anweithgarwch a ddarfu iddo. Gorphwysodd oddiwrth y gwaith o roddi bôd a dechreuad i bethau. Ond y mae efe "hyd yn hyn" yn gweithio mewn ffordd o gynnal a llywodraethu yr hyn oll a greodd. Felly nid gorphwys yn ddiwaith a wnaeth, ond gorphwys yn ei waith. Pe y gweithredai yn amgen, nid yw yn ormod dyweyd y byddai ei holl waith wedi myned yn ofer. Pe yr attaliai ei law ond am un eiliad rhag gweithio, elai yr holl greadigaeth i'r annhrefn mwyaf. Pallai yr haul dywynu, safai yr holl blanedau yn eu cylchdro, a threngai pob peth byw ar wyneb y ddaear. Ond, o drugaredd, tuag at gynnal a chadw y cyfan mewn trefn yn y wedd ag y mae, "y mae fy Nhad," medd yr Iesu, "yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finnau yn gweithio." Yn hyn eto y mae efe yn gydweithredydd â'r Tad, yn "wir lun ei Berson ef, ac yn cynnal pob peth trwy air ei nerth." Felly y mae yn Arglwydd ar y Sabboth ei hun. Hyn a ddywed efe dro arall wrth yr un dosbarth o rwgnachwyr defodol, pan y cyhuddent ef o'r un achos, "Canys Arglwydd ar y Sabboth hefyd yw Mab y dyn."

Y mae y Tad hefyd yn gweithio eto mewn *iachawdwriaeth*. Ac o'i holl waith dyma y rhyfeddaf yn ddiammheu. Yma y gwelwn nid yn unig ei allu anfeidrol, ond hefyd ei gariad anfeidrol. Môr o gariad yw nas gellir byth ei blymio. "Canys felly y carodd Duw y byd fel y rhoddodd ei uniganedig Fab." "Yn hyn y mae cariad, nid am i ni garu Duw, ond am iddo ef ein caru ni, ac anfon ei Fab i fod yn iawn dros ein pechodau." Ac nid ei anfon trwy orfodaeth neu rym cymhelliad a wnaed, ond yr oedd yr Iesu yn rhoddi ei hun, fel nad oedd yn iawn dyweyd mai cariad y Tad yw yr unig achos o'i ymddarostyngiad, ond, yn fwy priodol, effaith iddo ac amlygiad o hono ydoedd. Effaith ac amlygiad o'r cariad diderfyn hwn a ennyn-

dd yn "rhyw fflam angerddol gadarn, ref" yn mynwes yr Hanfod Ddwyfol yn hragywyddoldeb bore, ydoedd y wyrth rybwylledig a gyflawnwyd ar ran y dyn laf wrth y llyn. Yr oedd y Tad yn weithio yma, ac yr oedd yr Iesu hefyd yn weithio. I weithio y daeth Efe i'n byd i. "I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, el y dattodai weithredoedd diafol." Er ia chafodd ryw oes faith ar y ddaear, eto wy erioed a gyflawnodd gymaint o waith g efe yn ei fywyd, heb son am ei angeu? Bywyd o weithgarwch parhâus oedd yr iddo ef. Mynych ar ol bod yn pregethu n galed trwy y dydd y cawn ei hanes yn mneillduo i'r mynydd i ddal cymdeithas i'i Dad yn y nos. Yr oedd fel yn achub ob cyfleusdra i weithio. Gan fod ei Dad n weithiwr mor gyson, ystyriai yntau y yddai iddo dynu dianrhydedd arno pe iad ymroisai i weithio. "Y mae fy Nhad," ebe efe, "yn gweithio hyd yn hyn, c yr wyf finnau yn gweithio."

Ond yr Iuddewon wedi clywed yr ymadrodd hwn "a geisiasant yn fwy ei ladd ef." Yr oedd dyweyd am Dduw mai ei Dad ydoedd, ac felly ei wneuthur ei hun yn gystal a Duw, yn fwy trosedd yn eu golwg na thori y Sabboth. Ond yr Iesu, yn lle tynu dim yn ol, a ä ymlaen i gadarnhâu yr hyn a ddywedasai. Dengys ei fod o'r un natur ac ewyllys a'r Tad, ac felly o angenrhaid yn gydweithredydd âg ef, nid yn unig gyda golwg ar weinyddiad o fywyd, ond hefyd o farn; ei fod yn feddiannol ar allu ac awdurdod nid yn unig i iachâu, ond hefyd i fywhâu y meirw, a gwneuthur barn. Cyflawni ewyllys y Tad oedd yr hyn yr ymroddai efe bob amser i'w wneuthur; a chafodd y Tad ei lwyr foddloni ynddo yn hyn, fel y darfu iddo ddwyn tystiolaeth gyhoeddus a phendant i egluro hyn ar fwy nag un amgylchiad. "Hwn," medd efe, "yw fy anwyl Fab yn yr hwn y'm boddlonwyd; gwrandewch ef."

Heblaw hyn yr oedd y Tad hefyd yn tystiolaethu trwy gyfrwng ei holl weithredoedd, ac yn enwedig yn wastadol yn ddigyfrwng i'w ymwybyddiaeth ef ei hun, yn rhinwedd y cymundeb agos a fodola rhyngddynt. "Arall," medd yr Iesu, "sydd yn tystiolaethu am danaf fi; ac mi a wn mai gwir yw y dystiolaeth y mae efe yn ei thystiolaethu am danaf." Ond er y cyfan, wele yr Iuddewon yn gwbl fyddar i'w dystiolaeth ef ymhob amlygiad, fel y dywedodd yr Iesu wrthynt, "Ni chlywsoch chwi ei lais ef un amser, ac ni welsoch ei wedd ef. Ac nid oes genych mo'i air ef yn aros ynoch; canys yr Hwn a anfonodd Efe, hwnw nid ydych chwi yn credu iddo."

Yr ail dyst y cyfeiria efe eu sylw ato ydyw IOAN. "Chwychwi a anfonasoch at Ioan, ac efe a ddŷg dystiolaeth i'r gwirionedd." Pan y darfu iddynt anfon offeiriaid a Lefiaid o Jerusalem at y Bedyddiwr i Bethabara tu hwnt i'r Iorddonen, i ofyn pwy ydoedd, darfu iddo dystiolaethu yn eglur iawn am yr Iesu iddynt; ac at ei dystiolaeth i'r cyfryw yr adeg hono yn fwyaf uniongyrchol, feddyliem, y cyfeiria yr Iesu yma. Eglurodd iddynt nad efe oedd y Crist, ond y gwelent hwnw ar yr un pryd yn sefyll yn eu plith ped adwaenent ef. Medd efe, "Myfi sydd yn bedyddio â dwfr, ond y mae un yn sefyll yn eich plith chwi, yr hwn nid adwaenoch chwi. Efe yw yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, yr hwn a aeth o'm blaen i, yr hwn nid wyf fi deilwng i ddattod carrai ei esgid." A thrannoeth drachefn pan y canfu yr Iesu yn dyfod ato, efe a ddywedodd, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Wele yr hwn y bum i yn cyhoeddi ei ymddangosiad, gan barotoi y ffordd o'i flaen, yr hwn y cefais y fraint o'i fedyddio yn yr Iorddonen, pryd y gwelais yr Ysbryd yn disgyn megys colomen o'r nef, ac yn aros arno ef. "Hwn yw efe." Fel hyn darfu i Ioan Fedyddiwr yn y cyfamser ddwyn y dystiolaeth fwyaf eglur ag oedd bosibl i ddyn byth ei ddwyn i'r gwirionedd. Yr oedd Ioan yn dyst o ran ei berson, "Llef" oedd yr enw wrth ba un y gelwid ef gan y prophwyd wrth gyfeirio ato fel rhagredegydd y Messïah gannoedd o flynyddoedd cyn ei eni, a dyma yr enw a roddodd efe arno ei hun i'r cenadon a nodwyd mewn atebiad i'w gofyniad. "Ebe efe, Myfi yw llef un yn gwaeddi yn y diffeithwch, Unionwch ffordd yr Arglwydd." Fel hyn tyst ydoedd hyd yn nôd o ran ei berson; ac hanfod ei weinidogaeth oedd dwyn tystiolaeth i'r gwirionedd. "Efe a anfonasid fel y tystiolaethai am y Goleuni."

Ond yr ydym i sylwi ymhellach nad oedd raid i'r Iesu ei hun yn awr wrth dystiolaeth y Bedyddiwr; ond cyfeiriai at hyn yn fwyaf neillduol am y gallai fod o fudd iddynt hwy er eu hargyhoeddi. "Y pethau hyn yr wyf yn eu dywedyd fel y gwareder chwi." Yr oedd Ioan yn dda a buddiol yn ei le ac yn ei dymmor. Ond wedi i Haul mawr y Cyfiawnder wneyd ei ymddangosiad, nid oedd raid yn gymaint wrtho ef mwyach; nid oedd ei oleuni ond megys canwyll yn llosgi, ac wedi llosgi allan cyn hyn. Wedi dechre o'r Iesu ei hun ar ei waith yn gyhoeddus, dylasent gredu ynddo trwy dystion neu dystiolaethau eraill cadarnach ac amlycach, fel yr awgrymwyd eisoes, sef

EI WEITHREDOEDD EI HUN. "Ond y mae genyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan; canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hyny y

rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd." Yr oedd pob gweithred a gwyrth, ïe hyd yn nôd ei leferydd oll, yn dwyn tystiolaeth eglur a phendant i hyn, mai efe oedd gwir Anfonedig y Tad. Nid oedd natur un amser yn gwrthod ei gydnabod felly, eithr gwnai hyny gyda'r parodrwydd mwyaf. Dim ond iddo ddadlenu ond rhyw ychydig o'i ogoniant, byddai ei holl ddeddfau yn crynu fel dail ac yn ymgrymu iddo. Yr oedd y môr yn myned yn balmant dan ei draed; a thawelai yr ystorm â'i chyffro. Ymollyngai cystudd y claf o'i afaelion, a rhoddai angeu, yntau, ei ysglyfaeth yn ol o'i ffau wrth ei orchymyn. Fel hyn yr oedd ganddo dystiolaeth fwy nag Ioan, sef ei ryfedd weithredoedd. Tra nad oes genym hanes ddarfod i Ioan erioed gyflawni yr un wyrth, yr oedd bywyd Crist yn hynod yn hyn yn gystal a phob gweithredoedd eraill. Yn wir, beth a all arddangos yr hyn ydyw dyn yn well na'i weithredoedd? Wedi danfon o Ioan, o dŷ ei gaethiwed yn Machaerus, ddau o'i ddysgyblion at yr Iesu i ofyn iddo ai efe oedd yr Anfonedig, nid oedd ganddo well ffordd o roddi ateb, er boddlonrwydd i feddwl y Bedyddiwr, na thrwy orchymyn iddynt ddychwelyd ato, a dwyn tystiolaeth i'w weithredoedd ef. "Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a glywch ac a welwch. Y mae y deillion yn gweled eilwaith, a'r cloffion yn rhodio, a'r cleifion gwahanol wedi eu glanhâu, a'r byddariaid yn clywed; y mae y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Yr oedd iddynt ddwyn tystiolaeth i'w hathraw o'r pethau hyn yn well na chael yr atebiad uniongyrchol o "Ië," gan y gallai twyllwr ateb felly. Yr oedd y gweithredoedd yn brofion sicr a diymmod ei fod yn meddu ar allu goruwchnaturiol, a'r un y dysgwylient am dano. Priodol iawn gyda chyfeiriad at ei weithredoedd, y dywedodd un o'r penaethiaid wrtho, wedi dyfod ato liw nos, "Rabbi, nyni a wyddom mai dysgawdwr wyt ti wedi dyfod oddiwrth Dduw; canys ni allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur oni b'ai fod Duw gydag ef." A oedd credinaeth Nicodemus ar y pryd yn cyd-dystiolaethu â'i leferydd nis gwyddom; ond hyn sydd hysbys, mai pell iawn oedd y mwyafrif o'i gydseneddwyr oddiwrth addef y gwirionedd hwn. Hawddach bron oedd gan gythreuliaid uffern gyfaddef hyn na hwy. "Ti yw Crist, Mab Duw," cyffesai y cythreuliaid, ond "Mab y saer" a ddywedent hwy, gan wadu ei Ddwyfoldeb, a hyny yn ngwyneb y tystion mwyaf cedyrn. Ac onid oes yn Nghymru heddyw lawer yn cyttuno â'r Iuddewon yn hyn? Beth am y rhai sydd yn gwrthod credu ynddo a'i dderbyn fel eu hunig Waredwr? a beth am y pleidiau hyny, megys y Sosiniaid, sydd yn gwadu ei Dduwdod yn ngwyneb yr hanes am ei nerthol weithredoedd? "Canys y rhai hyny sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd."

Ond yn olaf, — YR YSGRYTHYRAU. "Chwiliwch yr Ysgrythyrau, hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi." Yr oedd yn eu meddiant hwy Moses, y Prophwydi, a'r Salmau, y rhai oll a ddygent dystiolaeth am dano Ef. Ac nid ydym i feddwl llai nad oeddynt hwythau yn arferol o ddarllen y rhanau ysbrydoledig hyn. Fel y mae yn hysbys, yr oeddynt yn meddwl yn uchel iawn o Moses, ond ar yr un pryd yn sefyll yn fyr o adnabod yr Hwn yr ysgrifenai Moses am dano. O herwydd paham troai Moses, eu cyfreithiwr, a gwrthddrych penaf eu gobaith, yn gyhuddwr iddynt, fel y dywed yr Iesu, "Y mae a'ch cyhudda chwi, sef Moses, yn yr hwn yr ydych yn gobeithio." Nid digon oedd iddynt ddarllen y gwirioneddau, ond gorchymynai yr Iesu iddynt eu chwilio; treiddio i mewn iddynt, eu chwilio fel am berl, ïe, am fywyd. Dilys y gwna pawb yr ymdrech mwyaf er sicrhâu diogelwch y bywyd naturiol; ond pa faint mwy y dylid ymdrechu gyda golwg ar yr ysbrydol? Y mae yr un gorchymyn yn gymhwysiadol ac yn gyfeiriedig atom ninnau yn bresennol, gan mai dyma y moddion, fel rheol, y mae y Duw trugarog a graslawn wedi ei ordeinio i ni i gaffael bywyd tragywyddol. Wrth ufuddhâu o honom i'r Iesu i gyflawni ei orchymyn esmwyth hwn, sef chwilio yr Ysgrthyrau, ni a ddeuwn o hyd i, ac a dderbyniwn, yr oll o'r tystiolaethau eraill am dano, a mil mwy. Chwiliwn hwynt, ynte, er cael gafael ynddo Ef yr hwn sydd "yn fywyd ac yn hedd" i'r rhai oll a'i hadnabyddant. Ymofynwn am dano ar hyd y meusydd hyn yn yr un teimlad ysbryd â Mair, pan yn ymofyn am dano tua'r beddrod fore y trydydd dydd. Nid oedd dim a wnai ei boddloni hi heb gael gafael ynddo Ef. Yr oedd yn well ganddi hi gael gafael yn ei Hiesu, a hwnw ar y pryd yn farw fel y tybiai, na chael cymdeithas hyd yn nôd dau o angylion yn fyw. Yn feddiannol ar yr unrhyw deimlad, pared Duw ein bod ninnau oll yn ein hymchwiliad o'r Ysgrythyrau. Na chaffed un rhwystr ein hattal i ddal cymdeithas âg Ef yr hwn yw unig Iachawdwr y byd. Cofiwn os bydd i ni wrthod derbyn tystiolaeth yr Ysgrythyrau am Grist, y bydd i'r Gair eto ein cyhuddo a'n condemnio; ac y mae a'n cyhudda ni, nid yn unig Moses, ond hefyd yr holl Destament Newydd.

J. AFAN PARRY

*Crosswood.*

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD XI.

*Adgofion Prudd a Dyddanol.*

UN o ragorfreintiau gwerthfawrocaf ardaloedd gwledig ac amaethyddol ydyw mai anfynych y dygwydda dim ynddynt yn sydyn i'w taflu i drallod a galar. Nid felly y mae mewn cymydogaethau gweithfaol. Weithiau egyr y bore ei amrantau tyner ar ardal sydd eisoes yn effro a phrysur, a gwena arni yn ddedwydd, fel y gwena baban iach a da ei dymher ar ei fam, yr hon sydd wrth ei gryd pan egyr ei lygaid. Gwelir lluoedd o'r glöwyr yn troi allan o'u tai â'u lampau yn grogedig wrth eu gwregys. Mae swn eu *clogs* ar y ffordd galed, a'r palmant anwastad, yn gerddoriaeth i glust ambell Gymraes a adwaenwn, ac yn ailennyn hiraeth yn nghalon ambell weddw ieuanc, yr hon a ddaw i'r drws â phlentyn ar ei braich, ac un arall yn cydio yn ei ffedog. Edrych ar eu holau, fel pe byddai hi o hyd yn dysgwyl i John ddyfod yn ol. Os sylwch, cewch weled gŵr cydnerth a chadarn yn prysuro allan o'i dŷ, ac yn cerdded fel pe byddai yn teimlo yn falch cael myned i weithio yn galed i ennill arian i gadw ei wraig a'i blant; ond cyn iddo fyned nemawr gamrau, mae crwtyn bychan, troednoeth, coesgyrn-noeth, ar hanner gwisgo am dano, ac heb fod yn hollol lân, gan fod gweddillion cyfleth y noson gynt ar ei wyneb crwn, tew, yn rhedeg ar ei ol; oblegid y mae y tad, yn ei frys, wedi anghofio rhoi cusan iddo cyn cychwyn i'r gwaith. Yn awr, wedi ei adgofio o'i esgeulusdra, y mae yn ei godi ar ei frest lydan, ac, er yr holl gymysgedd sydd ar y wyneb, yn rhoi gwefusglec iddo sydd yn swnio dros yr ardal, yr hyn a bâr i'r fam, yr hon sydd gerbyn hyn yn sefyll yn nrws y tŷ, chwerthin yn galonog. A oes un o honynt yn meddwl mai hwn yw y cusan olaf? Mae peirant y gwaith—calon yr ardal—yn curo yn gryf a chyson. Esgyna mwg y simdde fawr yn golofnau tew-dduon yn syth i'r nefoedd; oblegid y mae y diwrnod yn deg, ac y mae ar Dduw eisieu y mwg (fel y tybiwn pan oeddwn fachgen) i wneyd cymylau o hono! Gwelir gwêdd ar ol gwêdd, gwagen ar ol gwagen, yn dyfod o'r gwaith yn llwythog o'r glo goreu, a'r gwagenwr yn ei glôs penglin, a'i chwip ar ei ysgwydd, ac yn cerdded fel pe byddai ganddo un troed yn y rhŷch, yn gwneyd llygad cam ar bawb a gyferfydd i edrych a ydynt yn sylwi ar ei feirch porthiannus, cynffonau y rhai y bu yn y fath drafferth y noson gynt yn eu plethu, ac yn eu gwisgo â rubanau glas a melyn. Mae y plant yn chware ar hyd yr heolydd, ac yn gwneyd gwawd o goesau meinion y gwagenwr, ac yn ei ddynwared yn rhoddi y llythyren "y" ar ol enwau ei feirch, megys "Boxer y," "Blaze y." Ni sylwa "ein dyn" arnynt. Ymddengys pawb yn mwynhâu daioni a dedwyddwch, o'r cigydd cnodiog sydd, rhwng ymweliad dau gwsmer, yn hanner cysgu yn ei gader yn y siop, ac yn ymddangos fel pe byddai hir fyfyrdod ar frasder wedi ei wneyd yntau yn "barod i'r gyllell," hyd at y crydd teneu, gwynebllwyd, sydd yn cyfeirio tua'i dŷ ar ryw hanner trot â llon'd ei ffedog o waith trwsio. Er nad ydyw hi ond bore, y mae gwragedd taclusaf y glöwyr yn siop Mr. Roberts yn chwilio am ryw damaid blasus i'w gwŷr; oblegid pa ddyben iddynt weithio yn galed oni chânt rywbeth da ac at eu harchwaeth i'w fwyta? Ennillant gyflog rhagorol, a pham na chânt ychydig ddanteithion? Mae golwg gwneyd yn dda ar y masnachdai, ac y mae eu perchenogion yn defnyddio seibiant y bore i symud y llwch ac i osod pethau mewn trefn. Dywedir fod gan yr hen wreigan sydd yn cadw y siop teganau "hen hosan." A pha ryfedd? Edrychwch ar y bechgyn o bob maint ac oed with fyned i'r ysgol; a chewch eu gweled yn rhês, â'u llechau yn grogedig wrth linyn ar eu cefnau, a gwers y noswaith gynt yn ysgrifenedig arnynt—o *strokes* y crwt hyd at *vulgar fractions* yr hogyn—yn rhês, meddaf, yn fflatio eu trwynau ar ffenestr y siop, ac yn addaw iddynt eu hunain, noswaith y "sist" nesaf, bob un ei degan. Greaduriaid hapus!

Ond hwyrach cyn pen yr awr y bydd y newydd yn rhedeg fel tân gwyllt fod "codwm" wedi cymeryd lle yn y gwaith, a hyn a hyn o ddynion wedi eu lladd, neu ynte fod y dŵr wedi tori allan, a hyn a hyn wedi boddi neu wedi eu cau i fyny yn rhanau uchaf y gwaith! Ymleda galar gwyllt ond dwfn dros y gymydogaeth. Mae yr hogyn oedd wrth fyned i'r ysgol yn y bore yn edrych ymlaen at y "sist" am gael *bat* gan ei dad, yn cael ei hun cyn canol dydd yn fachgen amddifad! Y tad cydnerth a chadarn yn anterth ei iechyd, oedd yn y bore yn codi ei blentyn fel pe codasai bluen ar ei frest lydan i'w gusanu, a ddaw adref yn yr hwyr mewn trol yn ddyn marw! Chwi Fonwysiaid dysyml! beth a wyddoch chwi am ymweliadau sydyn a chalonrwygol fel y rhai hyn? Pan fyddwch

ar hirnos gauaf yn mwynhâu eich tân glo—nid mawn—cofiwch fod yr hyn a fwynhewch yn aml yn werth gwaed!

Pan dorodd y tân allan yn y Caeau Cochion, yr hyn a fu yn angeu i fy mrawd Bob ac i amryw eraill, ni chafwyd, wrth gwrs, foment o rybudd; a suddwyd y gymydogaeth oedd, ychydig fynydau cyn hyny, yn dawel a dedwydd, i alar tost ac annesgrifiadwy. Yr oedd gan bob un o'r gweithwyr ei "Lusern Dewi;" a pha fodd y dygwyddodd y ddamwain ni wyddai neb ac ni wybu neb byth. Ond nid *pa fodd* y dygwyddodd a flinai y rhai a golledwyd yn y ddamwain—ac yn eu plith fy mam a minnau—ond yr hyn *a* ddygwyddodd. Collodd fy mam fab, yr hwn er yn hogyn a fu iddi hi yn lle gŵr, ac ar yr hwn y dibynai yn hollol am ei chynnaliaeth; a charai ef yn fwy o lawer na'i heinioes ei hun. Gwn na phryderai hi ryw lawer yn fy nghylch i; ond nid oedd diwrnod—nid oedd awr o'r diwrnod, heb fod ei henaid wedi ymgylymu âg enaid Bob. Collais innau frawd o'r brodyr, i'r hwn y teimlwn yn ddyledus am bobpeth ymron a feddwn yn y ffordd o ddysgeidiaeth; ac hyd yn nôd y fynyd hon yr wyf yn teimlo yn sicr y buaswn yn rhywbeth hollol wahanol i'r hyn ydwyf oni b'ai am dano ef. Pe ceisiwn ddesgrifio fy ngalar pan gollais ef, gwnawn fy hunan yn wrthddrych dirmyg i fy adgofion. Y pryd hwnw cenfigenwn at fy mam wrth ei gweled yn dal y brofedigaeth mor lew, a minnau wedi myned yn swp diwerth. Ond mor werthfawr i mi yn awr ydyw cofio ei hymddygiad! Pe gosodid holl weithiau y Puritaniaid, a phobpeth a ysgrifenwyd erioed yn mhlaid Cristionogaeth, yn un pentwr mawr o fy mlaen, a phe gallwn âg un amgyffrediad gymeryd i mewn eu holl ymresymiadau, y mae tawelwch a hunan-feddiant fy mam yn ngwyneb profedigaeth lem yn ddadl annhraethol gryfach yn fy meddwl i o wirionedd a Dwyfoldeb crefydd yr efengyl. A oedd hi yn teimlo cymaint â'r gwragedd eraill a golledwyd yn y ddamwain, y rhai oeddynt yn gwaeddi ac yn colli arnynt eu hunain? Oedd, ac yn llawer dyfnach, mi gredaf. Ond yr oedd ganddi hi ryw nerth ysbrydol cuddiedig i syrthio yn ol arno, yr hwn a'i galluogai i edrych ar y dygwyddiad mwyaf alaethus fel adnod anghenrheidiol yn mhennod ei bywyd, heb yr hon y buasai ystyr a chysylltiad y testun yn aneglur. Nid nerth corfforol a'i cynnaliai, oblegid, er fy ngofid, canfyddwn fod hwnw er ys amser yn gwywo yn gyflym. Yn ei ffolineb credai fy mam mai Bob oedd y bachgen glanaf a harddaf yn y gymydogaeth, a drwgdybiai bob merch ieuanc a ddeuai i'n tŷ ni o geisio ei swyno. Ond cymaint oedd y dirmyg a wnaethai y tân arno, fel y penderfynodd hi y foment y diangodd ei enaid ymaith nad edrychai hi ar ei wyneb mwyach "nes i'r adgyfodiad roi polis arno." Pe gwybuasai hi mai gair Saesoneg oedd "*polish*," gwn na buasai yn ei ddefnyddio, gan mor gryf oedd ei rhagfarn yn erbyn pobpeth Seisonig. Pan ddygwyd ei arch i'r tŷ (ie, peth ofnadwy ydyw hyny mewn bwthyn heb ystafell i ddianc iddi rhag ei gweled), rhoddodd fy mam orchymyn caeth i'r saer sgriwio yr arch ar unwaith. Yr oedd yn rhy eiddigeddus i neb gael myned i hylldremu ar ei hagrwch. Onid yw yn ffaith pan oddiweddir y rhai a garwn gan farwolaeth—yn enwedig marwolaeth sydyn, y pellheir ac y bychenir yn ein golwg y gwendidau a'r beiau a ddygwyddai fod yn perthyn iddynt tra yn fyw? Nid ydyw adgof yn hoffi edrych arnynt ond yn eu dillad goreu. Yr oeddwn yn eithaf sicr fod fy mam wedi gweddio llawer dros Bob, ac wedi pryderu llawer yn nghylch ei gyflwr, er nad oedd dim yn ei fuchedd yn cyfreithloni hyny ond yn unig ei dawedogrwydd, a'r ffaith nad oedd efe er ys peth amser yn aelod eglwysig. Ond yn awr, pan nad oedd ond ei gorff llosgedig yn gorwedd yn llonydd rhwng pedair ystyllen yn y llofft, nid ymddangosai hi yn pryderu dim ynghylch diogelwch ei enaid, yr hwn oedd weithian ymhell oddiwrthym; oblegid yr wyf yn cofio yn dda pan oedd hi wedi bod yn ddystaw am oddeutu awr, gan bletio ei ffedog ac edrych yn syn i'r tân, iddi hi ofyn i mi,

"Be ddeydodd o," gan ddefnyddio y rhagenw fel pe buasem wedi bod yn siarad am dano y fynyd gynt,—"Be ddeydodd o, dywed, yn Sasneg wrth Dr. Bennett?"

Ac atebais innau, "Dyweyd ddarfu o fod hi yn ganol dydd goleu."

"A be ddeydodd y Doctor?"

"Dyweyd ei fod yn dechreu ramblo," atebais innau.

"'Roeddwn i'n meddwl mai dyna ddeydodd o; ac felly y deydodd Ffestus wrth Paul—'Rwyt ti yn ynfydu. 'Dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysbrydol y bernir hwynt.'" Ac ychwanegodd, megys wrthi ei hun, "Ramblo, wir! Dim peryg i Bob ramblo. Ond am y goleuni ysbrydol 'roedd o yn sôn—y peth yr oedd o yn ymbalfalu am dano, fel 'roedd o'n deyd. 'A bydd goleuni yn yr hwyr!' Rhyfedd, rhyfedd! Gorfod colli ei ddau lygad cyn dechre gweled! 'I farn y daethum i'r byd hwn, fel y gwelai y rhai nid ydynt yn gweled.' Mi fase cystal gen i â llawer bydase fo yn proffesu; ond choelies i 'rioed fod o yn ddigrefydd. Mi fydde Abel Hughes bob amser yn deyd fod gwell graen ar Bob nag ar ein hanner ni. Ond y peth sy'n tawelu mwya' ar y medd-

wl i ydi y peth deydodd Bob rhyw bythefnos yn ol—nad oedd o ddim yn ddifater am bethe crefydd, ac mai gwaedd ei enaid o oedd am y goleuni. Ac fe ddeydodd Duw, 'Ceisiwch fi hefyd, a chwi a'm cewch, pan y'm ceisioch â'ch holl galon. Ni ddywedais wrth had Jacob, Ceisiwch fi yn ofer. Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch,' medde'r Gwaredwr ar y mynydd. Mi ddeyda ine fod yn o anodd iddo fo fod yn golledig. Gobeithio nad ydw i yn pechu; ond yr ydw i yn teimlo mor siŵr fod o yn y nefoedd, fel, os ca i fyn'd yno fy hun, fel yr ydw i'n dysgwyl y caf fi, a ffeindio nad ydi Bob yno, y bydde hyny yn ddigon i andwyo fy holl gysur i."

Wel, nid oes genyf finnau heddyw ond hyderu fod crediniaeth fy mam yn gywir. Pe darllenai ambell i ŵr dysgedig yr hyn yr wyf yn myned i'w ddyweyd, diammheu y chwarddai am fy mhen. Chwardded ef. Ond yr wyf fi yn credu fod pobl dduwiol, gan nad pa mor annysgedig ydynt, yn meddu rhyw ganfyddiaeth ysbrydol, ac yn derbyn, er hwyrach yn anymwybodol, ryw frysbellebrau o'r byd tragywyddol na chaniateir i'r dyn anianol, ac na ddeallid ganddo pe caniateid hwynt iddo. Gwn yn eithaf da nad ydyw fy nghrediniaeth yn cydweddu â dysgeidiaeth rhai o wŷr galluog yr oes (oleu) hon—oes ag y mae rhai ynddi yn edrych ar grefyddwyr fel pobl hen ffasiwn, ac ar y Bibl fel llyfr bach digon diniwed, ac yn lled addaw i ni y bydd iddynt yn bur fuan, drwy eu darganfyddiadau gwyddonol, allnogi yr hogyn yn yr ysgol i ysgrifenu ar ei lechen, rhwng brecwast a chinio, holl gyfrinion natur—dirgelion bodolaeth, a dyheuadau enaid anfarwol!

Er fod fy adgofion yn fywiog, nid wyf yn hoffi nac yn bwriadu ymdroi uwch ben yr adeg pan oedd yr hyn oedd farwol o fy mrawd yn aros cael ei guddio o'm golwg am byth. A phe bawn yn ceisio rhoddi desgrifiad o fy nheimladau ar y pryd, hwyrach yr edrychid arno fel diffyg chwaeth dda ynof gan y rhai a ddichon gymeryd y drafferth i ddarllen yr hunangofiant hwn. Er fod pob teulu yn ei adnabod, gŵr dyeithr ydyw angeu bob amser. Ymwêl â ni heb ei wahodd, ac nid oes iddo groesaw un adeg. A pho leiaf fyddo ei groesaw, tebycaf yn y byd ydyw o ymweled â ni yn fuan drachefn. Gwn fy mod yn adrodd profiad ambell un pan ddywedaf mai adeg ryfedd a dyeithr ydyw hono pan y mae corff un anwyl genym yn yr un tŷ â ni yn aros yr awr a benodwyd gan arfer gwlad a'r hyn a ystyrir yn weddusrwydd i gael ei gludo i dŷ ei hir gartref. Mor anhawdd ydyw sylweddoli fod yr un oedd y dydd o'r blaen yn edrych arnom, yn siarad â ni, yn bwyta ac yn yfed, ac yn cerdded o gwmpas fel ninnau, yn awr yn llonydd ac oer, yn fud ac yn fyddar. Mor greulawn yr ymddengys ynom ei adael yn yr ystafell ar ei ben ei hun! Mae y tywydd yn oer, ac nid oes tân yn yr ystafell lle y mae ef. Mor galed! A ydyw yn teimlo ein bod yn angharedig ato? A fuasai ef yn ein gadael ni felly? Gwyddom ei fod ef—yr ef—ymhell bell oddiwrthym; ac eto yr ydym yn ymwybodol o hyd ei fod yn yr ystafell nesaf; onidê paham yr ydym yn siarad mor ddystaw, fel pe byddem yn ofni ei ddeffro? Mor araf y mae yr oriau yn llusgo! Mor ddideimlad ydyw arfer gwlad, yr hon sydd yn ein gorfodi i gau allan oleuni dydd, a gwneyd un nos o'r adeg, fel pe na byddai genym ddigon o nos eisoes yn ein henaid! Mae y prudd-der yn llethol, a'r awydd am gael pobpeth drosodd yn gryf. Beth, a ydym ar frys am ei gladdu? O nac ydym, yr anwylyn! Ond y mae yr amser yn hir ac annyddanol. Yr ydym yn ceisio darllen; mae y llygaid yn edrych ar y llyfr, a'r meddwl yn crwydro ymhell i rywle dyeithr. Mae y cynhyrfiad lleiaf yn peri i ni wrando, a gwrando yn ddyfal. Cyfeiria ein clust i'r ystafell nesaf. Mor debyg oedd y swn i'w besychiad adnabyddus ef! A ddarfu iddo symud? Dychymyg ydyw y cyfan; mae efe a'r ystafell mor ddystaw a'r bedd! Yr ydym yn syrthio i gwsg o fyr barhâd, ac wedi deffro yn ammheu ai breuddwydio fuom, ac eilwaith yr ydym yn myned dros yr holl amgylchiadau. Ymddengys pobpeth mewn gwêdd wahanol i ni yn awr. Nid oes erbyn hyn swyn mewn bywyd, clod, nac elw. Gwagedd yn ein golwg ydyw pethau y byd hwn; a synwn fod neb yn gallu ymroi cymaint i bethau y ddaear, ac yn enwedig yn gallu chwerthin; heb gofio ein bod ni ein hunain, ychydig ddyddiau yn flaenorol, yn euog o hyny, ac y byddwn eto ymhen ychydig amser fel y buom. Gynifer o benderfyniadau da a ffurfiwn! yr oll i gael eu cymedroli yn fawr, os nad eu llwyr anghofio, ymhen deufis! Anghenfil hagr a du ydyw angeu; ond teifl wmbreth o oleuni ar wrthddrychau, hyd yn nôd i'r byw. Pa faint mwy i'r hwn y mae yn ei gymeryd ymaith?

Cyfleusdra rhagorol i'r efengylydd a'r gŵr o gynghor i hau yr had da ydyw yr adeg pan fydd angeu wedi aredig daear y galon, a phrofedigaeth wedi ei meddalu. Mae yr hedyn yn cael "dyfnder" gyda rhwyddineb. Ac er i'r ddaear galedu drachefn, ond odid nad egina yr hedyn ryw ddydd, ac y tyr allan drwy y grawen galed, ac y dwg ffrwyth hwyrach ar ei ganfed. Yr oedd ymweliadau cyfeillion y capel â fy mam a minnau yn ein helynt mor fendithiol a chysurlawn, fel nad allaf roddi

desgrifiad teg o honynt, na phris ar eu gwerth. Cofus genyf y dywedai fy mam mai nesaf o ran gwerth ganddi hi i addewidion mawr y Bibl a ffydd yn Nuw fel Goruwchreolwr pob peth, oedd geiriau calonogol y brodyr a'r chwïorydd crefyddol. Ac nid ychydig oedd y rhai a ddaethant i'n cysuro, ac nid y rhai lleiaf ffyddlawn oeddynt Thomas a Barbara Bartley. Yr oeddynt mor blentynaidd, a'u cydymdeimlad mor gywir, mor *genuine*, fel nad ellid peidio ei werthfawrogi. O'r braidd hefyd y gallai fy mam beidio gwenu ar rai o gwestiynau syml-ddiniwed Thomas, megys,

"Mary, ydach chi'n meddwl fod Bob erbyn hyn wedi deyd wrth Seth fod Barbara a fine wedi dwad i'r seiat? hyny ydi, os daru o drawo arno fo, achos mae yno gymin o honyn nhw yno, onid oes!"

"Am ddim a'r a wn i, hwyrach i fod o, Tomos," ebe fy mam.

"Wel, 'does bosib," ebe Thomas, "na thrawan nhw ar 'u gilydd rw dro; cynt y cyferfydd dau ddyn na dau fynydd, mae'n nhw'n deyd."

Wedi bod yn ddystaw am fynyd, ebe Thomas drachefn,

"Mi fu Barbara a fine yn cysidro llawer iawn am danoch chi neithiwr, Mary, ac yr oeddan ni yn methu yn glir faes a gweled be ar affeth hon y ddaear a naech chi rwan heblaw dwad aton ni i fyw. Mae acw faint fyd fyw fynoch chi o le, a chan' mil o groeso, on'd oes, Barbara? Yr ydan ni wedi gneyd y lle yn barod i chi, a rhaid i chi'ch dau ddwad acw heno. Dydach chi ddim yn claddu Bob dan drenydd, a be newch chi yma yn tori'ch calon, yntê, Barbara?"

Rhoddodd Barbara nog; ac ebe fy mam—"Yr ydach chi yn garedig a chymydogol iawn, Tomos; ond fedrwn i ddim meddwl am fynyd am adel Bob ar ei ben ei hun yma, er mai ffansi ydi'r cwbl."

"Twbi shŵar," ebe Thomas; "ddaru mi ddim meddwl am hyny. Na, na, onar breit; erbyn styried, mi dryche dipyn yn oer ynoch chi ei adel o, yn enwedig gan nad oes gynoch chi ddim ofn. Ond mi gawn siarad am hyn eto."

"Be sy gen i i'w ofni, Tomos? Does yma ond y corffyn gwael—y tŷ gwâg."

"Nid at hyny roeddwn i yn cyfeirio," ebe Thomas.

Deallodd fy mam ei feddwl. Gwyddai Thomas fwy o'n hanes nag a dybiwn i, a gwyrodd fy mam ei phen yn gydnabyddgar am ei feddylgarwch, ac ychwanegodd—"Mae clo a bàr ar y drws, Tomos."

"Twbi shŵar, ond mi fydd raid i chwi ddwad acw drenydd. Nawn ni wbod mwy am ych tamed chi na thamed cyw iar," ebe Thomas.

Drenydd a ddaeth, ond y mae fy adgofion yn gymysglyd a thywyll. Teimlwn fel pe buaswn mewn breuddwyd. Mae dwy argraff ar fy meddwl y gallaf eu darllen yn rhwydd heddyw, sef, fod llawer o bobl yn y cynhebrwng, ac fod Wil Bryan yn cerdded wrth fy ochr a swp o bren *box* o dan ei gesail chwith, ac yn cario yn ei law ddehau gadach â'i lon'd o swnd. Mae genyf adgof gwan o glywed llais crâs Mr. Brown yn rhuthro dros y wers gladdu—a chof byw weled Wil Bryan ar ei liniau wrth y bedd yn taenu y swnd drosto ac yn ei wisgo â phren *box*. Ychydig feddyliwn ar y pryd mor fuan y byddai Wil wrth yr un gorchwyl drachefn! Yn gyffredin tafodrydd iawn a fyddai Wil; ond pan fyddai yn cydymdeimlo yn ddwys, dystaw yn wastad a fyddai. Ni siaradodd air â mi nes oeddym ar hanner y ffordd gartref o'r fynwent; ac yr wyf yn cofio yn dda ei sylw, a dyma fo—

"Rhys, wyddost di be fase Bob yn ddeyd bydase fo yn gwbod mai Mr. Brown fase yn i gladdu o? Mi fase yn deyd geirie ola Bobby Burns—'*Don't let that awkward squad shoot over my grave!*' Dyna fase fo yn ddeyd, mi gymra fy llw." Cofio yr oedd Wil am waith Mr. Brown fel Ustus Heddwch yn anfon Bob i'r carchar ar gam, a diammheu genyf ei fod yn dadgan teimlad fy mrawd i'r llythyren.

Fe gofia y darllenydd—os bydd genyf ddarllenydd—mai crefyddwr ieuanc oedd Thomas Bartley. Byddai hen arferion a syniadau nad oeddynt yn cydweddu yn dda â phroffes grefyddol yn fynych yn mynu dangos eu hunain ynddo. Er y byddai Thomas yn eithaf parod ac ewyllysgar i ymwadu â hwynt, teimlai nad heb dipyn o ysgytiad y gallai wneyd hyny. Ddiwrnod claddu Bob, gofynodd Thomas i fy mam ai nad oedd hi yn bwriadu cael tipyn o fara a chaws a chwrw i'r bobl? ac ychwanegodd mai yn y *Brown Cow*, "bygse fe," yr oedd y ddiod oreu, ac awgrymodd yn eglur ddigon y cymerai efe y gôst arno ei hun. Tra yn diolch iddo am ei garedigrwydd, cymerodd fy mam drafferth i ddangos i Thomas wrthuni yr arferiad o wledda mewn claddedigaethau, ac yn enwedig o ddwyn diod feddwol ar y bwrdd; ac ebe Thomas—

"Twbi shŵar, Mary, chi ŵyr ore, yr ydach chi yn gwybod mwy o'ch Bibl na fi, a mi fydda yn wastad yn rhoi mewn i chi. Ond yr oeddwn yn meddwl fod o yn edrach dipyn yn oer nad oes yma na thamed na llymed i neb."

Cyfarfyddodd fy mam ddymuniadau ein cyfeillion caredig hanner y ffordd, trwy ganiatâu i Barbara, ar ol y cynhebrwng wneyd tê, a gwahodd ychydig o'r cymydogesau agosaf i'w fwynhâu, ac i sôn am y marw, yr hyn a esmwythäodd lawer ar gydwybod Thomas. Wedi i'r cymydogesau fyned bob

un i'w thŷ ei hun, ac i minnau a fy mam, a Thomas a Barbara, gael ein gadael i ni ein hunain, ar ol ychydig ymgomio, ebe Thomas—

"Rŵan, Mary, rhaid i chi hel ych pac oddma. Be newch chi yma yn tori'ch calon? Fu rioed ddaioni i bobol fyw ar 'u pene 'u hunain. Welsoch chi rioed mor gyfforddus fyddwn i acw. Mi safiff i Barbara a fine ddwad yma i'ch clywed chi'n sbonio. Wyddoch chi be? mi fydd gystal gen i â phregeth y'ch cael chi acw; ac fel deydes i, nawn ni wbod mwy am y'ch tamed chi na thamed cyw iar."

"Wn i ddim sut i ddiolch digon i chi am eich caredigrwydd, Thomas," ebe fy mam; "ond er pan ddaru i chi sôn am y peth y noson o'r blaen, yr ydw i wedi penderfynu derbyn eich gwahoddiad cynnes, ar yr ammod y mod i gael talu am fy lle tra deil y mhrês i. Mae gen i dipyn wedi ei roi o'r neilldu, a mi gaf dipyn am y pethe yma, ac hwyrach y bydd hyny yn ddigon i mi tra bydda i."

"Mi gawn settlo pethe fel ene eto," ebe Thomas, gan lwytho ei bibell.

Yr oeddwn wedi fy syfrdanu. Ni ddychymygais y buasai fy mam yn ymostwng i dderbyn caredigrwydd hyd yn nôd gan Thomas Bartley nes i amgylchiadau ei gorfodi i hyny. Gwyddwn fod annibyniaeth meddwl, ac arswyd bod yn faich ar neb, yn nodweddion amlwg yn ei chymeriad. Tra yr oedd Barbara yn cynnorthwyo fy mam i wisgo ei chlôg lâs a'i bonnet fawr, daeth i fy meddwl yn sydyn y rheswm paham y derbyniai hi gyda'r fath barodrwydd wahoddiad Thomas Bartley: ofni yr ydoedd ein hen ymwelydd.

Ymhen ychydig fynydau yr oeddym ein pedwar ar ein ffordd i'r Twmpath—oblegid felly y gelwid tŷ Thomas. Yr wyf yn cofio y fynyd hon y drefn y teithiem—nid annhebyg i'r gerbydres: Thomas yn blaenori fel *locomotive engine*, a'r mwg o'i bibell yn torchi yn awyr y nos—minnau wrth ei sodlau, a fy mam yn fy nilyn, fel *passenger carriages*, a Barbara, yr hon oedd yn bur dew, fel *luggage van* o'r tu ol, gan wegian nid ychydig fel y bydd cynffon y trên yn gwneyd. Yr oeddym ein pedwar yn ddystaw, gyda'r eithriad fod Barbara, yr hon oedd yn cael ei blino gan y gymmalwst, yn rhoi ambell gwynfaniad fel y *luggage van* pan fydd ei holwynion eisieu ei hiro, a Thomas fel *locomotive* yn rhoi ambell chwibaniad yn y ffurf o "Ydach chi'n dwad, wragedd?" Wrth gwra, desgrifio yr ydwyf ein taith fel yr wyf yn edrych arni yn awr, ac nid fel yr edrychwn arni yr adeg hono. Yr oedd meddwl am adael yr hen dŷ y cawswn fy ngeni a'm magu ynddo, yn yr hwn y treuliais lawer awr ddifyr, ac ynglŷn â'r hwn yr oedd fy holl adgofion, yn llenwi fy nghalon â phrudd-der. Hon oedd y noswaith gyntaf i mi fod oddicartref. Edrychwn bob amser ar y Twmpath fel cynllun o glydwch a dedwyddwch; ac yr oedd ein croesaw iddo yn gywir a diragrith. Ond pan aethum i'r gwely, y gwely y bu farw Seth ynddo—a'r hwn oedd yn llawer esmwythach na'r gwely gartref, daeth drosof y fath gawod drom o hiraeth am yr hen dŷ, am Bob, ac am yr hen ddyddiau, fel y gorfu i mi roddi fy mhen dan y dillad, a gwthio y gynfas i fy safn rhag gwaeddi allan. Yn y bore gwybu fy mam ar fy llygaid chwyddedig pa fodd y treuliaswn y noswaith, a chododd ochenaid hyd at ei gwddf, ond mygodd hi cyn iddi ddyfod allan. Canfyddwn fod Thomas Bartley yn gwneyd ymdrech i'n cadw rhag pendrymu, ac i lithio ein meddwl oddiwrth ein trallod. Cymerodd ni i'r buarth i weled y moch a'r ieir, gan siarad yn ddidòr. Talai fy mam sylw i bobpeth a ddywedai efe; ond gwyddwn nad ystyriai hi fod ei siarad er adeiladaeth, oblegid rhywbeth yn debyg i hyn oedd ei rediad—

"Mary, dyma'r moch gore fu gen i rioed am ddwad yn 'u blaene. Rown i run ffig am fochyn os na fydde fo yn farus. Mi fyte rhein y cafn bydae nhw ddim yn cael eu pryd yn 'i amser. Hwn ene, heb yr un gynffon, ydi mistar y cafn. Mi fydda'n wastad yn magu dau—achos mae nhw yn dwad yn 'u blaene yn well o lawer —lladd un a gwerthu'r llall. Fydda i byth yn rhoi India mêl iddyn nhw, achos mae'r bacyn pan rowch chi o o flaen tân, yn myned yn llymed cyn bod yn ddigon. Tatws a blawd haidd ydi'r stwff gore i besgi moch os ydych am facyn da, a berwi tipyn o ddalan poethion weithie iddyn nhw fel newid. Does dim byd well i fochyn pan fydd o wedi colli i stumog na berwi penog coch yn 'i fwyd o. Pa faeth sydd mewn soeg i fochyn? dim at ol. Wyddoch chi be, Mary? fytwn i byth facyn bydae raid i mi brynu bacyn y Merice ene. Be wyddoch chi ar be mae nhw'n cael 'u pesgi. Mae nhw yn deyd fod moch yn y Merice yn byta Blacks fydd wedi hapno marw yn y coed, ac mi greda hyny yn hawdd. Holo! cobyn, wyt ti ene? Dene i chi geiliog, Mary? bydase'r bluen wen ene heb fod yn i gynffon o, mi fase yn *pure game*. Drychwch ar i frest o! mae hi fel y llusern. Mi weles yr amser cyn i mi ddyfod at grefydd y baswn i yn tori grib o; ond y mae rhywbeth yn deyd wrtha i nad ydi hyny ddim yn iawn, rywsut, achos yr ydach chi fel bydae chi yn trio gwella gwaith y Brenin Mawr. Dydw i ddim yn ffeindio fod yr ieir *game* yma yn rhw helynt o ddodwra, ond *just* bod 'u wyau nhw yn fwy *rich*. Barbara (gan

floeddio yn uchel) ydi brecwast yn barod? Ho! mi ddown ene rŵan. Pethe yn talu yn riol, Mary, ydi *fowls*, os cân nhw 'u ffidio yn dda. A welsoch chi rioed mor ffond yr ydach chi yn myn'd o honyn nhw? Mae nhw yn edrach mor gysetlyd wrth droi eu pene'n gam. Wel, de'wch i ni fyn'd i'r tŷ i edrach be sy gan yr hen wraig ene i ni. Wn i ddim sut yr ydach *chi* yn teimlo, ond yr ydi *i* yn teimlo y medrwn i fyta pene'r pryfed!"

Ar ol brecwast cychwynais i'r siop, a daeth fy mam i fy hebrwng ychydig er mwyn cael siarad gair yn breifat â mi. Gan roddi ei llaw ar fy ysgwydd, ebe hi wrthyf,

"Mi welaf ar dy wyneb di dy fod wedi bod yn ffretio. Rhaid i ti fyclu ati, fy machgen. Rhaid i ni'n dau, wel di, ymostwng, ond peidio ymollwng. Dwyt *ti* ond megys yn dechre byw, yr ydw ine yn tynu at y terfyn. Os byddi di yn fachgen da ac uiudd—a mi greda y byddi di—fe ofala Duw am danat ti. Ymro ati i blesio dy feistar, ac wrth blesio dy feistar mi blesi Dduw. Yn y man mi ddof i siarad hefo Abel Hughes am i ti gael aros acw i gysgu'r nos, achos thâl hi ddim i ni gymeryd mwy o hyfdra nag sydd weddus ar garedigrwydd ein cyfeillion. Mi gei ddwad yma bob nos ar ol cau y siop i edrach am danon ni, os byddi di yn dewis. Yr unig beth sydd yn fy nhrwblo i ydi ofn gorfod gofyn lusen plwy. Ond hwyrach y ca i fy arbed rhag hyny eto. Mae gen i dipyn wedi ei gynnilo, ac hwyrach y prathiff o cyd â mine."

Ceisiais innau ddyweyd rhywbeth oedd ar fy meddwl; ond glynai fy ngeiriau yn fy ngwddf, ac nid allwn ddim ond tori i wylo. Gwasgodd fy mam fy mhen at ei mynwes; ac wedi i mi gael wylo fy ngofid allan, sychodd fy wyneb gyda'i ffedog, a dywedodd, "Dyna ti rwan—ffwrdd a ti, a chofia be ddeydes i wrthat ti."

Ac felly yr aethum, ac felly y gwnaethum, mi a hyderaf. Ar y ffordd nid allwn beidio meddwl am yr arswyd a ddangosai fy mam rhag gorfod gofyn elusen plwyf, a gofidiwn nad oeddwn, o ran oed a sefyllfa, yn alluog i'w chynnal. Nid oedd ond ychydig fisoedd oddiar yr amser pan siaradodd hi mor dafodrydd ac annibynol gyda Mr. Brown, y person, gan ddadgan ei hyder na fyddai raid iddi byth ofyn cymhorth "gan na phlwy na pherson;" a diammheu genyf fod y ffrwgwd hono rhyngddi a'r person yn dyfod yn fyw ac yn chwerw i'w chof. Yr oeddwn yn eithaf sicr ar y pryd mai llawer mwy dymunol ganddi hi a fuasai syrthio ar drugaredd *Relieving Officer* cyffredinol plant adfyd—Angeu—na chrwcydu i Mr. Brown; ac ofnwn fod rhywbeth yn ei llais a'i geiriau y bore hwnw oedd yn dangos mai hyny oedd ei gweddi!

ADGOFION AM Y CARNEDDI, BETHESDA.

LLYTHYR II.

Yn y flwyddyn 1828, tua phymtheng mlynedd a deugain yn ol, fe dorodd diwygiad grymus arall yn ein gwlad, yr hwn a barhäodd am tua thair blynedd. Ychydig fu y cynnydd ar eglwys y Carneddi yn ystod y blynyddau rhwng "diwygiad mawr Beddgelert" a'r diwygiad hwn. Mae yn ffaith mai ar ol rhyw yspaid o iselder hynod ar achos crefydd y byddai diwygiad yn tori allan braidd bob amser. Yr oedd yr olwg ar bob peth megys ganaf diffrwyth: trymder yn y pulpud, tywyll ac annyben yr holl gyfarfodydd crefyddol; ond fe dorodd y diwygiad crybwylledig allan yn gyffro, yn waeddi, yn weddïo, yn ganu ac yn orfoleddu trwy'r holl wlad. Yr oedd yn amlwg fod rhywbeth hynod yn y cyffroadau hyn. Yr oedd gwedd newydd ar yr achos drwyddo. Yn y flwyddyn 1830 torodd diwygiad grymus allan ymhlith y plant. Yr oedd hwn yn ddiwygiad nerthol. Yr ydym yn ei gofio yn eithaf da yn y Carneddi; ac y mae ei ôl i'w ganfod yn ardal Bethesda hyd heddyw.

Y pregethwyr a fyddai yn talu eu hymweliadau fynychaf â'r Carneddi y blynyddoedd hyn oeddynt, John Williams, Llandegai (dyma'r pregethwr cyntaf yn Llanllechid a Llandegai)—Harri William, Tre'rgarth—Thomas Hughes, Hen Gapel—(gynt o Fochdre)—Daniel Jones, Carneddi—Harri Roberts, Bangor—W. John, Llystyn—Michael Roberts, Pwllheli—W. Roberts, Clynnog—David Roberts, Bangor—David Jones, Beddgelert—John Huxley, W. Lloyd, ac E. Richardson, ill tri o Gaernarfon (byddai E. Richardson yma bob mis yn rheolaidd y pryd hyn)—John Williams, Dolyddelen—Griffith Solomon, Lleyn—Robert Owen, Llanrwst—Robert Evans, Roewen—John Prydderch, Môn—John Jones, Tremadog—John Elias, Môn—Dafydd Cadwaladr—Robert Jones, Rhoslan—James Hughes a Moses Jones, o Leyn—Thomas Owen, Llangefni. Trwy y diwygiadau uchod, ynghyd a gweinidogaeth rymus y gwŷr da hyn, yr oedd yr eglwys yn ychwanegu yn feunyddiol at ei rhifedi. Gwelwn hyny yn amlwg oddiwrth y cyfrif canlynol. Dywedir fod rhif yr eglwys yn 1830, sef ymhen pedair blynedd ar ddeg ar ol adeiladu y capel, yn 180. Ymhen y pum' mlynedd drachefn fe dorodd diwygiad grymus arall allan, yr hwn a barhäodd am tua blwyddyn; yr oedd rhif yr eglwys erbyn diwedd y flwyddyn hon uwchlaw 220. Yn y blynyddoedd hyn yr oedd golwg gysurus ar yr achos yn ei holl ranau. Tua'r adeg yma daeth i feddwl amryw o'r hen chwiorydd crefyddol am

gynnal cyfarfodydd gweddïo bob wythnos i ofyn am lwyddiant ar weinidogaeth yr efengyl. Ymha le yn Nghymru y mae peth fel yma yn cymeryd lle yn y dyddiau hyn? Cynnaliwyd y cyfarfodydd hyn gan y chwïorydd am amryw flynyddoedd, bob dydd Iau am ddau o'r gloch. Fe allai y caniateir i ni enwi rhai o'r hen chwïorydd duwiolfrydig hyn:—Siân Griffith, Aber-caseg—Mary Thomas, Penygraig—Siân Griffith, Llidiart y gweunydd—Catrin Owen, Wernsaeson—Margaret Jones, Bont-uchaf—Margaret Hughes, Tŷ Capel—Margaret Thomas, Carneddi—Ellen Williams, Llidiart y gweunydd—Elizabeth Rowlands, Braichmelyn—Catherine Rowlands, Peny-bryn—Elizabeth Parry a Catherine Griffiths, Braichmelyn.

Y pryd hwn yr oedd yr eglwys a'r gynnulleidfa yn cynnyddu yn ddirfawr, fel y gwelwyd fod anghen am i gyfran o honi symud i le mwy cyfleus i addoli. Er fod trigolion ardal Llanllechid yn arfer cadw moddion am ddeg a dau o'r gloch bob Sabboth—ysgol yn y bore a phregeth yn y prydnawn—eto bydd-ent fel ardalwyr yn arfer dyfod i'r Carneddi bob nos Sabboth. Yn y Carn-eddi yr oeddynt yn ystyried eu hunain yn aelodau eglwysig. Ond yn y flwyddyn 1834, prynodd y Methodistiaid gapel yn mhentref Llanllechid gan y brodyr Wes-leyaidd; ac felly ffurfiasant eu hunain yn gangen-eglwys ar ei phen ei hun. Dyma'r gangen-eglwys gyntaf a symudodd o'r Carneddi, pryd yr ymadawodd tua deugain o aelodau i Lanllechid. Drachefn, yn y flwyddyn 1837, ymhen y tair blynedd, adeiladwyd capel yn Mhenygroes, yn mhlwyf Llandegai; a symudodd tua deg ar hugain o aelodau i'r lle newydd hwn eto. Gwelir fod eglwys y Carneddi yn lleihâu yn ei rhif y naill symudiad ar ol y llall. Ymhen y pum' mlynedd drachefn, adeilad-wyd capel Jerusalem, yr hwn a gostiodd dros dair mil a phedwar cant o bunnoedd; a'r pryd hyn cymerodd tua 195 o'r aelodau eu cartref yn y capel newydd hwnw. Er-byn hyn nid oedd nifer eglwys y Carneddi ond tua 95. Yn y flwyddyn 1843, adeilad-wyd capel Ty'nymaes drachefn, ac ymhen y ddwy flynedd adeiladwyd capel Hermon yn mynydd Llandegai; ac fe aeth ychydig i bob un o'r ddau le yma eto o'r Carneddi. Ond wedi yr holl symudiadau hyn, yr oedd eglwys y Carneddi yn rhifo 120 yn y flwyddyn 1845, ac yn rhifo 305 ymhen pedair blynedd ar ddeg drachefn. Y sy-mudiad cyntaf ar ol Hermon oedd i gapel Brynteg, yr hwn a adeiladwyd yn y flwyddyn 1864. Ymadawodd 111 o ael-odau o'r Carneddi i'r capel newydd hwn. Ymhen y pedair blynedd drachefn, adeil-adwyd capel newydd yn y Gerlan, pryd y symudodd tua chant o'r aelodau o'r hen fam eglwys.

Yn awr, fe wêl ein darllenwyr fod cy-nifer â saith o wahanol ganghenau o eg-lwysi wedi tori allan o hen eglwys y Carn-eddi. Os 64 oedd nifer holl grefyddwyr Methodistaidd Llanllechid a Llandegai tua deng mlynedd a thriugain yn ol, y mae yn hyfrydwch genym gael dyweyd nad yw nifer aelodau eglwysig y gwahanol gapelau uchod yn ddim llai na THAIR MIL o rifedi yn awr.

Wrth edrych ar gynnydd yr achos cref-yddol yn ein gwlad yn gyffredinol, ac felly yn neillduol yn Bethesda, nis gallwn lai na gwneyd hyny mewn cysylltiad â'r rhai a ddefnyddiwyd fel offerynau i'w ddwyn oddiamgylch. Rhaid i ni gofio enwau lliaws o hen frodyr a fu yn ffyddlawn a llafurus iawn wrth olrhain i mewn i gyn-nydd crefydd yn ardal y Carneddi. Mae yn ffaith mai nid y pregethwyr fu yr unig offerynau i beri y fath gynnydd; na, gwnaeth y diaconiaid hefyd ran dda yn yr ymdrech. Hwy a fu yn y llafur a'r cyf-rifoldeb i gael y capelau a thalu eu dyled —i gael pregethu ar hyd y blynyddoedd— ac i sefydlu yr Ysgolion Sabbothol. Teith-iasant lawer i Gyfarfodydd Misol a Chym-deithasfäoedd. Aberthasant lawer o'u hamser a'u harian, ac ymladdasant â llawer o rwystrau. Eto er mor llafurus y bu yr hen flaenoriaid am lawer o flynydd-oedd, nid ydym am eu gosod allan fel rhai wedi cyrhaedd perffeithrwydd. Yr oedd yn y Carneddi lliaws o hen frodyr ffydd-lawn â'u hysgwyddau dan yr arch, hanner cant a thriugain mlynedd yn ol, yn cyd-weithio yn ddiwyd gyda'r hen flaenoriaid, megys yr hen Thomas Rogers, y Chwarel —Thomas Owen Pierce, Glanygors—Grif-fith Ellis, Pantdreiniog—Thomas Row-lands, Nantygraen—Edmund Jones, Tan-ygarth—Joseph Rutter, Glan'rafon—Harri Roberts, Carneddi — Owen Edward, Tŷ Capel—Hugh Evans, Carneddi—John Wil-liams, Llidiart y gweunydd (Aber gynt), ynghyd ag eraill. Wele bedwar brawd arall ag y mae yn weddus iawn i ni eu henwi, y rhai a fuont mor ffyddlawn â neb yn yr ardal dros ddeng mlynedd ar hugain: —John Thomas yr Hall—Owen Jones, *Machine*—Thomas Jones, Braichmelyn— a Griffith W. Prees, Camgymro. Y gwaith ag y buont hwy ynddo am yr ysbaid maith a nodwyd, oedd dyfod i'r Carneddi ddwy waith bob chwarter blwyddyn o bellder mawr, ar bob tywydd, i dderbyn arian yr eisteddleoedd. Yr oedd hyn yn weithred o ffyddlondeb ac o ymroddiad anghyffredin. Mae yn ormod gan lawer gyflawni y swydd hon am flwyddyn y dyddiau hyn. Byddai yn burion i lawer ddeall mai nid bod yn meddu ar wybodaeth helaeth a dysgeid-

iaeth glasurol sydd yn hawlio tâl da gyda chrefydd: na, gan ffyddlondeb y mae addewid am wobr dda. "Da, was da a ffyddlawn; buost ffyddlawn ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer."

Yn bresennol ni a grybwyllwn yn fyr am nifer o'r hen flaenoriaid cyntaf a godwyd yn eglwys y Carneddi, sef er yr amser yr adeiladwyd y capel y tro cyntaf. Gwnaethum yn fy llythyr cyntaf ychydig o sylwadau am W. Jones, Abercaseg, a Richard Jones, Taiduon (ei frawd), a W. Williams, Tŷ Capel, pa rai a ddaethant gyda'r ychydig nifer i'r Carneddi o gapel bach yr Achub, ac mai Thomas Jones, Brynllys, a godwyd yn flaenor gyntaf yn y Carneddi, a hyny ymhen tair blynedd wedi adeiladu y capel. Y nesaf a godwyd ar ol y patriarch o Brynllys oedd Evan Williams, Bontuchaf, yr hyn a gymerodd le yn y flwyddyn 1830. Dyn tawel, pwyllog, ac addfwyn oedd E. Williams; cristion da, cywir, a phrofiadol. Yr oedd yn dduwinydd rhagorol, ac yn meddu ar farn dda. Gwasanaethodd ei swydd gyda chywirdeb a ffyddlondeb, a chafodd yr eglwys golled fawr trwy ei farwolaeth. Bu farw yn 1836. Y gwŷr a godwyd nesaf, a hyny ymhen y flwyddyn, oeddynt Griffith W. Prees, Camgymro, a Robert Evans, Llanllechid. Ymhen y tair blynedd symudodd R. Evans gyda'r gangen-eglwys a sefydlwyd yn nghapel Llanllechid yr adeg hono. Nid oedd efe wedi cyrhaedd gradd uchel mewn dysg a gwybodaeth; ond yr oedd yn dra ffyddlawn, ac yn nodedig o wresog yn yr ysbryd. Bu G. W. Prees yn y swydd yn y Carneddi am yn agos i ugain mlynedd, pryd y dewiswyd ef yn *relieving officer* yn nosbarth Bangor; ac felly bu gorfod iddo ymadael o'r Carneddi i Fangor i fyw. Yr oedd y gŵr hwn fel swyddog eglwysig yn fedrus, gofalus, ac yn meddu duwioldeb diammheuol. Yr oedd ganddo farn dda, dawn serchog, a medr mawr i fod yn hylaw gyda'r achos yn ei holl ranau. Cyhoeddai y moddion am ugain mlynedd yn y Carneddi, a hyny gyda deheurwydd anghyffredin. Bu farw yn llawn o ddyddiau tua deuddeng mlynedd yn ol, a chladdwyd ef yn mynwent hynafol Llanllechid.

Y tri a godwyd nesaf oeddynt Thomas Williams, Cilfodan; David Morris, Cilfodan; ac Owen Jones, Nantytŷ. Cymerodd hyn le chwe' blynedd a deugain yn ol. Ni bu David Morris (Caeathraw yn awr) yn flaenor ond ychydig gyda blwyddyn, oblegid galwyd ef i'r weinidogaeth yn 1838. Bu Thomas Williams yn gwasanaethu y swydd am saith mlynedd, pryd yr ymadawodd i Sir Fôn i amaethu, lle y bu yn zelog a llafurus a chymeradwy iawn am tua deng mlynedd; yna aeth o Ynys Môn i'r America. Wedi myned i'r wlad hono, cafodd ei godi i bregethu. Ymhen y pum' mlynedd daeth yn ol i wlad ei enedigaeth, a chafodd ganiatâd i bregethu gan Gyfarfod Misol Arfon. Fe allai mai trwy aros yn flaenor y buasai yr hen frawd yn fwyaf gwasanaethgar i grefydd. Nid oes ynom y petrusder lleiaf i ddyweyd mai T. Williams oedd y blaenor goreu a godwyd erioed yn y Carneddi, gyda'r eithriad o W. Jones, Abercaseg, a T. Jones, Brynllys. Y nesaf yw Owen Jones, Nantytŷ. Codwyd ef, fel y sylwyd, yr un amser â D. Morris a T. Williams. Bu yntau yn gwasanaethu yn y Carneddi am tua phum' mlynedd, sef hyd yr amser yr adeiladwyd capel Jerusalem. Mae O. Jones yn un o'r blaenoriaid hynaf yn Arfon yn awr. Mae wedi bod ar hyd ei dymmor swyddogol yn nodedig o weithgar a ffyddlawn, a hyny gyda phob rhan o waith y cysegr. Y brodyr a godwyd nesaf oeddynt Thomas Owen a William Roberts, Bontuchaf, a Richard Jones, Abercaseg. Codwyd hwy yr un noswaith, a hyny un mlynedd a deugain yn ol. Yr oedd T. Owen yn ddyn call, sefydlog ei farn, ac yn dra egwyddorol. Yr ydym yn cofio yn dda y sylw a wnaeth un gweinidog parchus ddydd ei gladdedigaeth. Dywedai, "Yr oedd pob cymhwysder anghenrheidiol mewn diacon wedi cydgyfarfod ynddo i fesur helaethach na chyffredin, megys synwyr cryf, deall helaeth, teimlad gwresog, ynghyd a duwioldeb amlwg." Cawn i W. Roberts gael ei alw at grefydd yn amser "Diwygiad mawr Beddgelert," tua phum' mlynedd a thriugain yn ol. Yr oedd yn swyddog diwyd, gwyliadwrus a zelog, ac ystyrid ef yn dduwinydd gwych. Y mae y ddau erbyn hyn wedi myned i dderbyn eu gwobr er ys llawer dydd.

Mae Richard Jones eto yn fyw, ac wedi ymadael o'r Carneddi i gapel y Gerlan. Mab yw efe i'r diweddar seraph—W. Jones, Abercaseg. Mae rhyw air yn dyweyd, "Os myni glod, bydd farw." Pe byddem fyw ar ol ein cyfaill, byddai genym lawer i'w ddyweyd am dano. Ond dywedwn hyny yn awr, fod R. Jones yn hynod lafurus gyda'r gwaith goreu er ys dros ddeugain mlynedd. Yr ydym yn cofio yn dda iddo gael ei anrhegu tuag wyth mlynedd ar hugain yn ol, gan Gyfarfod Ysgolion Dosbarth Bangor, â holl Weithiau Barnes yn Gymraeg, ynghyd ag Esboniad y Parch. James Hughes ar y Bibl, am ei ffyddlondeb fel ysgrifenydd i'r Cyfarfod Ysgolion am dros ddeng mlynedd ar hugain. Y brodyr a godwyd yn flaenoriaid yn ddiweddarach ydynt Owen Morris, Jno. Griffiths, Owen Owens, Evan Roberts, Morris Williams, Robert Jones, Evan Roberts, W. Williams, a Rob. Jones

Gair neu ddau eto am y pregethwyr a ddaeth i'r Carneddi, neu a godwyd yno yn ystod y deng mlynedd a thrigain diweddaf. Mae yn llawenydd genym gael y cyfleustra i ddadgan ein parch i'w coffadwriaeth. Mae amryw o honynt yn sefyll yn uchel yn ein meddwl, a'n hamcan yn hyn o sylwadau ydyw cadw coffa da am danynt. Os nad oeddynt oll wedi eu cynnysgaethu â thalentau dysglaer, yr oeddynt yn dynod ffyddlawn; a pheth o bwys nid bychan i lwyddiant y weinidogaeth, ynghyd ag i anrhydedd crefydd, ydyw hyny. Nid ydym yn dal fod dysgeidiaeth uchel a chlasurol yn hanfodol i weinidogaeth yr efengyl. Nid oedd pysgodwyr môr Galilea, ynghyd a lliaws mawr a allem enwi o brif weinidogion Cymru, yn rhyw ddysgedig iawn. Nid ydym wrth ddyweyd hyn yn meddwl nad ydyw dysg yn fanteisiol i bob pregethwr, er nad yn hanfodol anghenrheidiol. Y pregethwr cyntaf a ddaeth i fyw i blwyf Llanllechid ac eithrio offeiriaid y plwyf) oedd Thomas Hughes, Hen Gapel. O Mochdre gerllaw Conwy y daeth T. Hughes. Bu yn byw am flynyddoedd yn nhy capel yr Achub. Drydd oedd ef wrth ei alwedigaeth. Cawn ei fod yn pregethu er y flwyddyn 1790, pan nad pa faint bynag cyn hyny. Yr oedd yn gwneyd i fyny y ddiadell fechan a ddaeth i gapel y Carneddi o gapel bach yr Achub. Diammeu i'r Arglwydd wneyd defnydd o hono yn ei ddydd i ddwyn ei achos mawr ymlaen yn y gymydogaeth.

Y nesaf a gawn enwi a fydd Daniel Jones, Carneddi. Un o blwyf Bangor oedd efe o'i enedigaeth. Cafodd ei ddwyn i fyny yn grefyddol o'i febyd. Rhwymwyd ef yn egwyddorwas o saer gyda gŵr o'r enw R. Thomas, Gate House, Llanllechid. Yma y codwyd ef i bregethu. Yn fuan ar ol hyny daeth i fyw i'r Carneddi. Aeth i'r weinidogaeth pan yn ugain mlwydd oed,—tua phedwar ugain mlynedd yn ol, a gwasanaethodd y swydd am tua 52 o flynyddau. Fe allai mai ychydig a deithiodd gymaint âg ef trwy siroedd Cymru. Er nad oedd yn meddu ar wybodaeth ëang, na thalentau mawrion, eto fe dybygid fod rhywbeth yn ei bregethau yn fwy effeithiol a gafaelgar na nemawr un yn ei oes. Dywedai y diweddar Barch. Morris Hughes, Felinheli, "nad oedd efe yn adnabod neb a fu mor lwyddiannus a Daniel Jones gyda'r weinidogaeth, ac yn meddu mor ychydig o dalentau naturiol, dysg, a gwybodaeth. Byddai mor ofer i neb geisio bod yn Daniel Jones ar ei ol ef a cheisio bod yn John Elias." Dywedodd Elias unwaith am dano, "Pan y gollynga Daniel Jones ei saethau allan, byddant yn bur debyg o fydd ar eu cyfer bob amser."

Y nesaf a gaiff ein sylw fydd y diweddar Morris Jones (neu yr "Hen Brophwyd," fel y gelwid ef yn gyffredin). Bu yntau yn pregethu am hanner cant o flynyddoedd. Codwyd ef i bregethu gyda'r Annibynwyr, ond yn y flwyddyn 1817 ymunodd gyda'r Methodistiaid yn y Carneddi. Pregethwr ar ei ben ei hun oedd Morris Jones. Yr oedd ganddo lais cryf a soniarus, a byddai hwnw ar brydiau yn cael ei ollwng allan yn orllif hylithr. Gan fod ei ddoniau yn rhai neillduol ac arbenig, yr oedd pawb, hyd yn nod y dosbarth mwyaf chwaethus a diwylliedig, yn dra hoff o'i glywed yn siarad. Goddefer i ni grybwyll y ffaith ganlynol, fel un o gannoedd, i ddangos ei ddawn, ei ddull, a'i arabedd. Mewn Cyfarfod Misol yn Arfon, mynodd y diweddar Barch. David Jones, Treborth, er ei waethaf, gael pregethu yn yr hwyr o'i flaen. Yn hytrach nag ymladd yn y capel, gadawodd yr "Hen Brophwyd" iddo wneyd. Wedi i David Jones ddarfod, dyma Morris Jones i fyny ar ei ol, a gwnaeth *apology,* trwy gyfarch y gynnulleidfa fawr oedd o'i flaen, "Wel, barchus gynnulleidfa, mae yn ddrwg genyf fod Mr. Jones wedi mynu cael pregethu o'm mlaen i; ond a wyddoch beth oedd yr achos o hyny? Os na wyddoch, mi ddywedaf wrthych. Ofn oedd arno iddi dywyllu fel na welech chwi mo'i gadach gwŷn ef; mae gan bobol ryw helynt fawr gyda'u cadachau gwynion y dyddiau hyn." Yr oedd hi yn dechre tywyllu yn gyflym pan yr oedd yr "Hen Brophwyd" yn dechre pregethu. Bu Morris Jones farw Mai 20, 1862, yn 80 ml. oed.

Y nesaf a gawn enwi fydd William Williams, Carneddi. Tua 77 mlynedd yn ol y daeth efe i Lanllechid o Lanberis, ac fe ymunodd gyda'r Methodistiaid yn nghapel bach yr Achub; ond o herwydd rhyw anghydwelediad â'r cyfeillion, efe a ymadawodd at yr Annibynwyr. Ymhen ychydig amser codwyd ef i bregethu; ond nis gallai wneyd ei gartref gyda hwy, felly, yn y flwyddyn 1826, daeth yn ol at y Methodistiaid i'r Carneddi erbyn hyn. Cafodd ddechre pregethu gyda hwythau yn lled fuan. Yn 1846 ymadawodd o'r Carneddi i'r Bontnewydd, gerllaw Caernarfon. Byddai ei bregethau bob amser yn drefnus, cryno, ac egwyddorol; a thraddodai hwy gyda dawn rhwydd a naturiol.

Y nesaf genym a fydd John Williams, Bangor. Yr oedd efe yn enedigol o'r Carneddi, ac ymunodd â chrefydd pan yn 26 oed. Ymhen dwy flynedd, sef yn 1822, codwyd ef i bregethu. Yr oedd iddo air da fel gŵr cyfrifol, egwyddorol, a duwiol iawn, gan ei holl gydnabod. Fel pregethwr yr oedd ei ymddangosiad, ei ddull syml, ei iaith goeth, ansawdd ei ysbryd,

a sylweddolrwydd ei bregethau, yn wir deilwng o'r areithfa.

Gair eto am y Parch. John Jones, Brynteg (Carneddi gynt). O herwydd rhyw amgylchiadau cysylltiedig â'i waith yn chwarel Caebraichycafn, gorfu iddo ymadael o Bethesda, ac felly fe symudodd i Gorris yn Sir Feirionydd i weithio. Yn y flwyddyn 1830 galwyd arno gan y Corrisiaid i fyned i'r weinidogaeth. Ordeiniwyd ef i'r holl waith yn 1856.

Y gwŷr nesaf a gawn enwi fydd Mr. Benjamin Jones (mab y diweddar Daniel Jones), a'r Parch. David Morris, Cilyfodan, gerllaw Carneddi (Caeathraw, ger Caernarfon, yn awr). Cafodd y ddau eu codi i bregethu yr un noswaith yn Carneddi, sef yn y flwyddyn 1838. Yr oedd B. Jones yn bregethwr cymeradwy iawn, er heb ddim neillduolrwydd arbenig yn ei ddull a'i ddawn. Yr oedd yn ŵr ieuanc tra hoffus. Cafodd Mr. D. Morris ei ordeinio yn 1849.

Gan fod ein llythyr wedi rhedeg yn faith ni chawn ond braidd enwi amryw frodyr eraill a godwyd yn y Carneddi, megys y Parch. W. Jones, Brynllys (mab yr hen flaenor hynod Thomas Jones, Brynllys). Dechreuodd ef bregethu yn 1848. Ymhen y tair blynedd wedi ei godi i bregethu, symudodd o ardal Bethesda i Dwyran, Môn. Cafodd ei ordeinio yn 1859. Y Parch. W. Roberts, Abergele, hefyd a godwyd i bregethu yn y Carneddi yn y flwyddyn 1850, ac a ordeiniwyd yn 1861. Y Parch. Thomas Jerman Jones, ein Cenadwr ar Fryniau Cassia, a ddaeth yn fachgen ieuanc i weithio i chwarelydd Bethesda o Fôn, a chodwyd ef i bregethu yn y Carneddi yn 1859. Y Parch. John Jones, Bethel, Eifionydd, hefyd a ddaeth o Fôn i'r Carneddi, a chafodd ei godi i bregethu yn 1860. Bu efe am dymmor gydag Eben Fardd yn Nghlynnog, ac oddiyno aeth i Athrofa'r Bala, lle y bu am tua tua dwy flynedd. Tua'r adeg hon cafodd alwad gan eglwys Bethel i fyned yno i'w bugeilio. Cawn fod Mr. Jones fel pregethwr a gweinidog yn dra chymeradwy. Yn ddiweddar cafodd Mr. Owen Matthias a Mr. William Phillips Williams eu galw gan yr eglwys i'r weinidogaeth, pa rai sydd yn awr yn derbyn eu haddysg yn Athrofa'r Bala. Gwelwn oddiwrth y sylwadau uchod fod yr eglwys hon wedi bod yn un o'r rhai mwyaf ffrwythlawn mewn magu dynion cyhoeddus gyda chrefydd. Gyda gradd o briodoldeb y gallem ddyweyd am eglwys y Carneddi, "Teg ydwyt ti, fy anwylyd, yn ofnadwy fel llu banerog."

Yn ein nesaf (a'r olaf) bydd genym ychydig o adgofion am yr Ysgol Sabbothol a'r canu yn y lle.

LLECHIDON.

## Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### PROPHWYDI Y TESTAMENT NEWYDD.

1 CORINTHIAID xii. 28: "A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys: yn gyntaf apostolion, yn ail prophwydi, yn drydydd athrawon."

EPHESIAID ii. 20: "Wedi eich goruwchadeiladu ar sail yr apostolion a'r propwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben conglfaen."

EPHESIAID iv. 11, 12: "Ac efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon."

I.

NID oes ammheuaeth na cheir llawer, hyd yn nôd ymysg astudwyr proffesedig yr Ysgrythyr, yn barnu mai at brophwydi yr hen destament y cyfeirir yn yr adnodau uchod, yn enwedig yn yr ymadrodd, "sail yr apostolion a'r prophwydi." Oddiyma darluniant iddynt eu hunain unoliaeth yr hen oruchwyliaeth a'r oruchwyliaeth newydd; Pedr ac Ioan a Paul ac eraill yn yr un frawdoliaeth ddwyfol a pharhäol âg Esaiah, Jeremiah, ac Eseciel. Ond digon o reswm yn erbyn y golygiad hwn yw, fod Paul yn gosod allan i Grist "pan ddyrchafodd i'r uchelder," ac y "rhoddes roddion i ddynion," roddi rhai yn *brophwydi* yn gystal a'r lleill yn apostolion, neu yn efengylwyr, neu yn fugeiliaid ac yn athrawon, yn benodol i adeilad corff Crist; yr holl swyddau hyn yn gwreiddio yn y rhoddion a gyfranwyd gan Grist ynghyda â'i esgyniad i'r nefoedd, a hyny i'r dyben o adeiladu ei eglwys efengylaidd.

Yr ydym yma yn dysgu, gan hyny, fod corff o ddynion yn yr eglwys apostolaidd yn adnabyddus fel prophwydi, a chanddynt swyddogaeth brophwydol. Ffaith hynod mewn cysylltiad â hyn yw yr ëangiad ar y swyddogaeth hon a welir ar y pryd. Dan yr hen oruchwyliaeth, cawn y prophwydi yn ychydig ac anaml. Os gallwn feddwl am "feibion y prophwydi" fel math o gorff colegol, yn trigo ynghyd, yn cael eu hyfforddi mewn gwybodaeth grefyddol a chaniadaeth gysegredig, fel parotoadau i dderbyn dadguddiedigaethau oddiwrth Dduw, eto nid oeddynt hwy yn lliosog mewn rhifedi, ac nid oedd yr oll o honynt hwythau yn derbyn dawn yr ysbrydoliaeth uchelaf. Ac am bedwar can' mlynedd, wele hyd yn nôd hyny wedi peidio, a llais yr olaf fel "cenadwr yr Arglwydd" (ystyr enw y prophwyd Mal-

achi), wedi cau i fyny ganon prophwydoliaeth yr Hen Destament. Yr oedd y bobl, fel y gallwn weled oddiwrth lyfr cyntaf y Maccabëaid (iv. 46; ix. 27), wedi myned i gyfrif ymddangosiad prophwyd fel cyfnod o amseryddiaeth pell, ac yn edrych ymlaen yn awyddus at yr amser y cyfodid prophwyd eto i'w dysgu a'u cyfarwyddo. O'r diwedd, "daeth gair Duw at Ioan mab Zacharias yn y diffeithwch" (Luc iii. 2), megys y daeth at Esaiah neu Ezeciel. Efe a ymddangosodd yn ngwedd yr hen fywyd prophwydol yn ei holl erwinder, gyda gwregys croen ynghylch ei lwynau fel Elïas, yn ymattal oddiwrth win fel y Nazarëaid a'r Rechabiaid, ac yn byw ar locustiaid a mêl gwyllt fel y llwythau Arabaidd mwyaf anghoeth, i'r rhai y perthynai y Rechabiaid. Felly yr oedd y bobl "yn cymeryd Ioan megys prophwyd." A phan ymddangosodd Iesu y Dysgawdwr mawr, er fod ei wedd allanol yn wahanol, yr oedd ei athrawiaeth, yn gystal a'i wyrthiau, yn peri i'r bobl ddywedyd, "Prophwyd mawr a gyfododd yn ein plith." Ond i fyny hyd ddydd y Pentecost, ni chaed ond y ddau, Ioan a'r Iesu, am ba rai y dywedid fel hyn eu bod yn brophwydi. Ond y dydd hwnw, heblaw dawn ryfedd y Tafodau, wele ddawn Prophwydoliaeth hefyd yn disgyn ar y dysgyblion. Ac ar hyny yn benaf yr oedd Pedr yn gosod pwys fel cyflawniad yr hen ragddywediad, "Tywalltaf o'm Hysbryd ar bob cnawd, a'ch meibion chwi a'ch merched a brophwydant." O hyny allan ni a gawn brophwydi yn fynych a lliosog; yr Ysbryd Glân yn disgyn ar bobl yn gwrando yr efengyl; "hwy a draethasant â thafodau, ac a brophwydasant." Daeth amryw o'r rhai hyn yn ddigon enwog i'w galw yn brophwydi yn ystyr uchaf y gair. Cawn "brophwyd a'i enw Agabus" (Act. xi. 28; xxi. 10); "Judas hefyd a Silas, hwythau yn brophwydi" (Act. xv. 32); "yr oedd hefyd yn yr eglwys ydoedd yn Antiochia rai prophwydi ac athrawon: Barnabas, a Simeon, a Lucius, a Manaen, a Saul" (Act. xiii. 1); a merched Phylip yr efengylwr (Act. xxi. 9). Ië, yr ydym yn cael y dawn prophwydo yn yr holl eglwysi Cenedlig. Rhybuddid y cristionogion yn Thessalonica i beidio "diffodd yr Ysbryd," oedd yn ennyn y ddawn, ac na "ddiystyrent brophwydoliaethau" a gynnyrchid drwy hyny. Yn eglwys Corinth yr oedd y cyflawnder o'r ysbryd prophwydo ymron ag achlysuro annhrefn eglwysig, ac yn dwyn allan ymdriniaeth helaeth ar y mater hwn gan Paul (1 Cor. xii. a xiv). Yn Rhufain, pryd nad oedd yr un apostol eto wedi ymweled â'r eglwys yno, cymer Paul yn ganiataol fod yno brophwydo; ac y mae yn cyfarwyddo, "Ai prophwydoliaeth, prophwydwn yn ol cysondeb" neu gyfatebiaeth "y ffydd" (Rhuf. xii. 6). Ac yn Ephesus, fel y gwelsom, rhoddir y prophwydi yn uchaf ond un ar restr y swyddwyr o roddiad Crist i'w eglwys.

Ond beth oedd arbenigrwydd y prophwydi hyn, a pha fath oedd eu gwasanaeth er "adeilad corff Crist?" Mae yn eglur nad oedd rhagddywedyd am ddygwyddiadau i ddyfod ynglŷn bob amser â dawn prophwydoliaeth. Nid ydoedd felly yn yr Eglwys Iuddewig, ac nid ydoedd chwaith yn y Gristionogol. Yr hyn y mae Paul yn aros arno fwyaf wrth lefaru am effeithiau prophwydoliaeth ydyw, nid fod dynion yn cael eu gallnogi i ragfynegu am bethau dyfodol, ond fod dirgelion eu calonau yn dyfod yn amlwg nes peri iddynt syrthio ar eu hwynebau ac addoli Duw (1 Cor. xiv. 24, 25). Yr oedd prophwydi y Testament Newydd, wedi eu hysbrydoli gan y "Gair Duw" sydd yn "barnu meddyliau a bwriadau y galon," yn gallu darllen meddyliau dirgelaf y rhai a wrandawent arnynt. Gallent ddyweyd wrth un fod ei bechodau wedi eu maddeu (Ioan xx. 23), wrth arall, "Paham y gosodaist y peth hwn yn dy galon (Act. v. 4)?" ac wrth un arall ei fod wedi ei alw i bregethu yr efengyl (1 Tim. i. 18), ac am hyny i wneyd gwaith efengylwr; neu fel y dywedodd yr Ysbryd drwy y prophwydi yn eglwys Antiochia, "Neillduwch i mi Barnabas a Saul, i'r gwaith y gwaith y gelwais hwynt iddo."

Ond gyda hyny, yr oedd y gallu i ragddywedyd yn cael ei gyfranu yn awr ac eilwaith, er mwyn adeiladu yr eglwys, neu gadarnhâu aelodau neillduol o honi, ac yn enwedig i'w cyfnerthu i gyfarfod â pheryglon, pe heb ragysbysiad am danynt, a fuasai yn dyfod arnynt fel magl. Yr oedd y rhagweledigad o'r newyn yn nhaleithiau ymherodraeth Rhufain yn nyddiau Claudius yn cynhyrfu'r cristionogion Cenedlig i haelioni tuag at gristionogion tlodion Jerusalem, ac felly yn cylymu'r naill a'r llall yn dynach yn rhwymau brawdgarwch yr efengyl (Act. xi. 27—30). Yr oedd y rhagolwg ar yr erlidigaeth oedd yn aros Paul yn Jerusalem yn profi ei ffydd a'i wroldeb diofn (Act. xxi. 4, 10—14). Sicrhâd o'r ddawn brophwydol hon a ddyry Paul pan y dywed wrth yr henuriaid yn Miletus fod yr Ysbryd Glân yn tystio iddo ymhob dinas fod rhwymau a blinderau yn ei aros (Act. xx. 23).

Ac heblaw rhagddywediadau neillduol oedd i'w cyflawni yn yr oes hono, ceir prophwydi y Testament Newydd â'u llygaid wedi eu hagor i weled y pethau tu hwnt i'r llèn, yn debyg i Ioan yn y Dadguddiad, ac yn enwedig i "hysbysu nerth a dyfodiad," sef ail ddyfodiad "yr Arglwydd Iesu

Grist" (2 Pedr i. 16). Nid oedd raid iddynt hwy benodi "yr amserau a'r prydiau," megys y gwna y rhai a fynent fod yn brophwydi yn ein dyddiau ni, gan eu bod yn dysgu "mai felly y daw dydd yr Arglwydd, fel lleidr yn y nos" (1 Thess. v. 2). Yr oedd yn ddigon ganddynt gyfeirio at gyfnodau dyfodol, o hyd anmhenodol, pan fyddai ymadawiad mawr oddiwrth y ffydd ac anfuchedd arswydus (2 Thess. ii. 3; 1 Tim. iv. 1; 2 Pedr iii. 3), ond a ddilynid gan deyrnas Crist yn ei gogoniant. Ac yr oedd rhagwelediad y gogoniant hwnw ymhell ymlaen, yn gynnaliaeth i'r dysgyblion drwy hir dymmorau o erlidigaethau ac adfeiliadau.

Yr oedd y prophwydi hyn yn llefaru ymhob eglwys, ac ymron ymhob cyfarfod, a hyny "er adeiladaeth a chynghor a chysur" (1 Cor. xiv. 3). A chan eu bod yn flaenllaw yn yr eglwysi, yr oeddynt ymysg y rhai blaenaf fel dyoddefwyr yr erlidigaethau. Felly y rhagddywedid gan "Ddoethineb Duw" yn llefaru drwy Fab Duw yn y cnawd, "Anfonaf atynt brophwydi ac apostolion, a rhai o honynt a laddant ac a erlidiant" (Luc xi. 49). "Wele yr ydwyf yn anfon atoch brophwydi, a doethion, ac ysgrifenyddion; a rhai o honynt a leddwch ac a groeshoeliwch, a rhai o honynt a ffrewyllwch yn eich synagogau, ac a erlidiwch o dref i dref" (Matt. xxiii. 34).

---

RHUFEINIAID vii. 18, 23: "Yr ewyllysio sydd barod genyf, eithr cwblhâu yr hyn sydd dda nid wyf yn medru arno. . . . Yr wyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau yn gwrthryfelu yn erbyn deddf fy meddwl."

YR hen bregethwr call, Griffith Solomon wrth sylwi ar brofiad Paul yn y bennod hon, a ddywedai, "Bum yn meddwl fod yr apostol, fel y mae efe yma yn ei ddesgrifio ei hun, rywbeth yn debyg i hen ŵr, a fuasai, pan yn addfedrwydd ei nerth a'i hoewder, yn gampwr mewn rhedeg, a neidio, a thaflu meini am y pellaf, ond yn bresennol âg annybendod henaint a llesgedd wedi ei ddal. Dyna ddynion ieuainc ryw ddiwrnod wedi ymgasglu mewn maes, i chwareu y cyfryw gampau; a dyna yntau yn eistedd ar y gamfa gerllaw i edrych arnynt. Wrth eu gweled yn myned ymlaen, hwn yn gwneyd y cais yma a'r llall yn gwneyd y cais arall, un yn methu ac arall yn curo, y mae efe yn dyweyd wrth y rhai sydd yn ei ymyl, 'Ho, mi welais ddydd y buaswn i yn curo pob un o honynt ar yr holl gampau hyna, ac y mae yr ewyllys at hyny yn gryf ynof y mynyd hwn; ond dyma'r drwg, yr wyf wedi myned yn rhy wan a diffrwyth i wneyd dim o'r fath. Mae fy meddwl yn fyw gyda'r bechgyn acw, yn barod i redeg a neidio, ia, ac i daflu maen, cystal a hwythau, a gwell hefyd; ond ni ddaw yr hen aelodau yma ddim; y nhw sydd yn *stiff*, pan y mae'r ewyllys yn ieuanc, a'r meddwl yn ystwyth.' Felly yr oedd y nôd a'r gamp uchelaf o flaen Paul: ei ewyllys fel seraph yn ehedeg i'r nefoedd, ond pwysau yr hen galon ddrwg yn ei gadw wrth y llawr; deddf sanctaidd Duw yn ddeddf ei feddwl, ond deddf yr hen ddyn yn ei aelodau yn ei rwystro i wneyd yr hyn a ewyllysiai."

---

# Darlleniadau Detholedig.

### YR ENW CRISTIONOGION.

GOFIDUS yw meddwl fod cymaint yn dwyn yr enw Cristionogion heb ganddynt ddim ond yr enw, a'u hymddygiadau yn groes i'r enw. Dywedir am Alexander Fawr, pan yr oedd gyda'i fyddin, i rywun ddyweyd wrtho fod yno gadben o'r un enw ag ef. "Pa fath un ydyw?" gofynai Alexander. "Milwr da," medd yr atebydd, "ond yn unig ei fod yn llwfr." Aeth Alexander yn ddioed at y dyn, ac a ddywedodd wrtho, "Alexander lwfr! nid all hyny ddim bod. Y dyn, naill ai newid dy enw; neu newid dy ymddygiad." Och! gynifer sydd dan yr enw Cristionogion, ac eto yn ymddwyn yn anaddas i'r enw! Mae pawb yn ein gwlad am gael eu galw yn Gristionogion; ond nid oes dim a fyno y rhan fwyaf â Christionogaeth; y maent yn hollol annhebyg i Grist; a rhaid dyweyd wrthynt, Bobl, naill ai newid yr enw neu newid yr ymddygiad. O yn newid yr ymddygiad yr elo ar frys! Beth? Cristion cybyddlyd! mae hwnw heb ei eni—Cristion balch! nid oes y fath un yn bod—Cristion anfaddeugar! ni wnaeth Duw y fath anghenfil erioed—Cristion meddw! ni byddai waeth genyf ddywedyd, Haul tywyll, neu, Butain ddiwair! Yr hwn sydd am gael enw Cristion arno, bydded ymddygiad Cristion ganddo.

Defnyddiwn yr enw hwn fel ein tarian yn erbyn pob beïau. Dywedai Themistocles wrth un oedd yn ei gynghori i wneyd rhywbeth beïus, "Myfi a allwn wneyd felly oni buasai fy mod yn Themistocles." Nid oedd y gwron hwnw am i ddim gymylu ei enw. Fy ngwrandäwyr, myfi a allwn dyngu, rhegi, a meddwi, cystal â neb o honoch, oni b'ai fy mod yn Gristion. Ni feiddiaf wneyd dim a dyno anfri ar yr enw rhagorol sydd arnaf. Fy mrodyr, atebwch yn wyneb pob temtiad i bechu yn debyg i Nehemïah, "A ffy gŵr o'm bath i?" Dywedwch ar gyfer y demtasiwn, A becha gŵr o'm bath i? Na: Cristion ydwyf.

Wir Gristionogion, ymgysurwch ac ymffrostiwch yn yr enw. Pan y daethoch yn Gristionogion yn wir, cawsoch ddigon byth.

Nid oes arnaf eisieu i fyw ond byw yn Gristion, nac i farw ond marw fel Cristion, nac yn y farn a ddaw ond cael fy arddel yn Gristion. —*John Elias.*

---

PREGETHU YN EGLUR.

Gellir gwybod ffurf briodol pregethu oddiar fel ei dangosir yn y tro cyntaf y cawn hanes am bregethu oddiar destun, yn yr wythfed bennod o lyfr Nehemïah. Ar ol bendithio, moliannu, neu ddiolch, mewn gweddi ar yr Arglwydd, y Duw mawr, "hwy a ddarllenasant yn eglur yn y llyfr, yn nghyfraith Duw, gan osod allan y synwyr, fel y deallent wrth ddarllen." Dyna y ffurf; ac y mae ynddi bedwar peth:—

1. Y testun. *"Yn y llyfr"* y cawd y testun. Nid oes ond un llyfr testynau i'w gael, yr hwn yw llyfr yr Arglwydd, cyfraith Duw, ei air a'i gynghor. Dyma lle y mae ei ddoethineb, ei feddwl, ei ewyllys, mewn athrawiaeth sydd yn cynnwys y pethau a berthynant i heddwch dynion.

2. Y dull i bregethu: *"yn eglur;"* yn amlwg, yn wahaniadol, pob peth yn ei le; dadguddio, dadglymu, eglurhâu, ac nid rhedeg y cwbl yn un clamp o bentwr, a'r sŵn yn boddi y geiriau, ac yn peri eu tywyllu, ac felly yspeilio yr Arglwydd o'i wirionedd ac o'i ogoniant, ac eneidiau dynion o wir rinwedd. Rhaid dangos gwir gynnwysiad a meddwl pob gair, heb "dywyllu cynghor âg ymadroddion heb wybodaeth."

3. Y gwaith i'w wneyd: *"gosod allan y synwyr;"* dadlenu athrawiaeth y gair. Mae yr athrawiaeth i'w gosod allan yn ei gwerth, ei defnydd, a'i budd, yn ei pherthynas â lleshâd eneidiau dynion.

4. Y dyben: *"fel y deallent;"* nid fel yr wylent, ac nid fel y chwarddent, ond "fel y deallent." Ond cael deall yn iawn i ddechre, fe bair hyny wylo neu orfoleddu.—*Thomas Richard, Abergwaen.*

---

JOHN EVANS, LLWYNFFORTUN.

Yr hyn a hynodai Mr. Evans fel pregethwr oedd ei brydferthwch. Yr oedd ei wynebpryd yn brydferth, tafliad ei law yn brydferth, ei feddyliau yn brydferth, a'i iaith yn brydferth. Yr oedd oll wedi ei wisgo â phrydferthwch. Yr oedd rhyw swyn rhyfeddol hyd yn nôd yn ei lais; ac nid ydym yn ammheu nad oedd llawer o'i wrandäwyr yn cael gwledd yn mhereidd-dra y swn, heb sylwi ar ystyr yr hyn a draddodid. Nid oedd ei hyawdledd yn llifeiriant angerddol yn rhuthro ar draws pob rhwystrau, ac yn rhwygo y cwbl o'i flaen, fel yr eiddo Elias o Fôn. Nid oedd un amser yn ymarllwys yn rhaiadrau annysgwyliadwy, nes "synu, pensyfrdanu dyn," fel yr eiddo Ebenezer Morris. Nid oedd yn afon lydan, lonydd, ddofn, fel yr eiddo Charles o Gaerfyrddin. Nid oedd yn ateb cynifer o wahanol ddybenion, nac yn rhedeg drwy randiroedd mor amrywiol, â'r eiddo Ebenezer Richard, neu Williams o'r Wern. Ond er hyny yr oedd yn un o'r afonydd prydferthaf a welwyd erioed, o faintioli mwy na chyffredin, yn dolenu ar hyd ac ar led dyffrynoedd breision, fel pe buasai wedi anghofio pen ei thaith yn nghanol hawddgarwch y golygfeydd oedd ar ei glânau. Gallesid meddwl wrth ei wrandaw nad oedd dim yn haws na phregethu. Yr oedd yn meistroli holl deimladau y galon heb amcanu at hyny. Yr oedd ei areithyddiaeth, fel yr enfys, yn anghymharol o hardd, ac ar yr un pryd mor agos atom o ran ymddangosiad, nes arwain rhai i gredu y gallasent ei efelychu. Ond er iddynt sefyll, yn ol eu tyb hwy, yn yr un man ag y gwelsent ef ychydig cyn hyny yn dadlenu ei ogoniant o flaen eu llygaid, yr oedd prydferthwch y pregethwr doniol o Lwynffortun mor bell o'u cyrhaedd âg erioed. Yr oedd y dynion hyn yn anghofio fod prydferthwch yn colli pan yr ymdrechir i'w ddangos. Pa bryd bynag y gwelir ysgogiadau y corff, neu oslef y llais, neu y dull o ymadroddi, yn wrthddrychau blaenaf ein myfyrdod, y maent yn rhwym o fyned yn annaturiol, ac o ganlyniad yn wrthun. Nid oes yn yr holl greadigaeth un gwrthddrych yn fwy prydferth na phlentyn bach; a'r achos o hyny ydyw ei fod yn berffaith rydd oddiwrth bob pryder ynghylch ei ymddangosiad. Yr ysbryd plentynaidd hwn yw gwreiddyn pob prydferthwch; a hyn mewn modd arbenig oedd yn harddu Mr. Evans. Ai tybied yr ydych, chwi ddynwaredwyr, ei fod ef yn cymeryd amser i ystyried wrth draddodi pa agwedd oedd ar ei ddyn oddiallan? Ai tebyg ei fod yn dywedyd wrtho ei hun, Dyma yr adeg i mi godi fy llaw chwith i deimlo y napcyn sydd am fy ngwddf; yn awr dylwn roddi cwhwfaniad hardd i'r law dde; y mae yn bryd i mi bellach roddi rhyw drôad mwynaidd a hyfryd i'r llais? Yr oedd efe, fel pob pregethwr mawr, yn colli golwg arno ei hun yn nysgleirdeb y meddyliau a lanwent ei fryd. Yr oedd ei faterion yn meddiannu ei holl enaid; ac yr oedd pethau llai eu pwys yn cymeryd eu lle naturiol oblegid nad oedd yn meddwl ond ychydig am danynt. Nid oedd yr addurniadau allanol ganddo ef ond gwisg yn dilladu ei bregethau; ac nid oes un dyn call yn gofalu llawer am ei wisg ond iddi fod yn symol glân, ac na fyddo yn tynu sylw o herwydd ei hanweddeidd-dra. Ond, wedi'r cwbl, yr hyn a'i gwnaeth mor ddefnyddiol yn ei ddydd oedd "yr eneiniad." Hyn oedd ei addurn penaf, ac a barai fod *myn'd* yn ei bregethau. Dyma beth nas gellir ei ddesgrifio, mwy nag y gellir dyweyd beth yw bywyd naturiol. Ond hebddo nid yw y dynion mwyaf doniol ond delwau yn symud ac yn siarad trwy rym peiriannwaith. Y mae miloedd yn Nghymru yn gwybod beth ydyw trwy weled ei effeithiau; a chadwed Duw y teimlad o'r anghen am dano yn ein gwlad tra paro dyddiau'r ddaear.—*Dr. Edwards, Bala* (1848).

---

ANGHEN EIN GWLAD, A CHYMDEITHAS DIRWEST.

Y mae yn ffaith ddiymwad fod llawer o

anghen yn ein gwlad, a bod llywiawdwyr bron ymddyrysu mewn anobaith wrth geisio rhagdrefnu darpariaeth er ei ddiwallu, a bod llaweroedd yn wyneb hyny yn haeru nad oes dim modd gan y ddaear i gynnal ei thylwyth yn ddianghen heb i ryfeloedd gael eu hennyn i ddifa y goreuon o'i phreswylwyr. Yr wyf yn edrych ar y fath haeriad fel cabldraeth o'r fath waethaf ar anian oll, ac ar ei Hawdwr hefyd. Yr wyf yn tawel gredu y gall y ddaear gynnal ei phlant oll, a'u cynnal yn gysurus fel boneddigion. Yr wyf yn tawel gredu fod ganddi ddigon o fodd i roddi digon o fwyd, a digon o ddillad, a digon o waith, iddynt oll. Nis galwn neb yn foneddigion os heb fwyd, neu heb ddillad, neu heb waith; ond pawb ag a allant gael gwaith a bwyd a ddillad ydynt foneddigion; ac yr wyf yn hollol gredu fod gan yr hen ddaear ddigon o fodd i gadw ei phlant oll yn foneddigion, ac y gallai eu cadw felly pe byddent yn gant amlach nag ydynt. Mawr hoffwn i bawb o bobl y byd, ac yn enwedig i bawb o bobl fy ngwlad, allu byw yn foneddigion. A phaham na baent yn byw felly? Pa le y mae y bai? ai ar elfenau anian, neu ar beiriant rhagluniaeth? ai ar dywyniad yr haul, neu ar lewyrchiad y sêr? ai ar ddisgyniad y gwlith, neu ar ehediad y cwmwl? ai ar dreigliad y ffrŵd, neu ar ymchwyddiad y dòn? ai ar flodau y maes, neu ar ddail y goedwig? O nage! Pa le, ynte, y mae y bai? ai ar bysg y môr, neu ar adar yr awyr? ai ar yr ŷch gwâr, neu y march nerthol? ai ar y fuwch flith, neu yr anner flwydd? ai ar y ddafad ddiniwed, neu ar yr oen chwareugar? Nage, nage! Pa le ynte, y mae y bai! ai ar ysbrydion y byd arall? Nage, nage, nage! Pa le, ynte, y mae'r bai? ai ar Greawdwr y cyfan? Na, na! *ar ddyn y mae'r bai.* Ffolineb dyn, a segurdod dyn, a gwastraff dyn, ydyw yr unig achos o'r holl anghenoctyd; a dichon mai y prif ffoledd o'i eiddo a achosa hyn ydyw y defnydd a wneir ganddo o'r diodydd sydd yn meddwi. Cwynir weithiau am drymder y dreth dlodion; ond bernir fod yr un gwastraff yma yn beunyddiol ddifa swm y dreth hono ugain waith drosodd; y rhoir *ugain punt* at gynnal y gwastraff hwn am *bob punt* a roir i gynnal y tlawd. Pwy a all ddyweyd pa faint o fwyd a ellid brynu? pa nifer o blant a ellid ddysgu? pa nifer o dai a ellid godi? pa nifer o ffyrdd a ellid balmantu? pa nifer o longau a ellid hwylio? neu, pa nifer o Fiblau a ellid argraffu—â chan' mil o filoedd o bunnau? Y mae deddfau anian wedi cael llawer o gam; y mae peiriant rhagluniaeth wedi cael llawer o anfri; y mae'r hen ddaearen, ein hen fammaeth oludog a hael, wedi cael llawer o annhegwch ac o anair. Mae "y creadur" wedi bod yn hir ocheneidio yn "nghaethiwed llygredigaeth," ac y mae yn dwys "ofidio hyd y pryd hwn." Dyn sydd "wedi ei ddarostwng i oferedd," a dyn sydd i'w ollwng yn rhydd. Hir ddysgwyliodd "y creadur" mewn awyddfryd hiraethlawn am ddadguddiad Cymdeithas Dirwest. Y mae "dan obaith" yn awr nad oes dim un o "feibion Duw" a all ddiystyru ei ochenaid, a gwrthod estyn llaw i'w ryddhâu o'i gaethiwed. Un ddiolchgar a haelionus ydyw; un caredig a boneddigaidd. Nid anghofia ei gymwynaswyr. Bydd yn sicr o dalu yn ol i'w gynorthwywyr, ïe, gwobrwyo yn helaeth y rhai a ymegnïant er ei ryddhâd. Gallwn dawel gredu "y rhyddheir y creadur," a bod amser ei waredigaeth yn agosâu, a'i fod i gael ei ryddhâu, nid trwy rym arfau, nac yn gymaint trwy osodiadau seneddol, ond drwy offerynoliaeth moddion moesol, a chydymdrechion gwirfoddol cyfeillion rhinwedd. Ac yr wyf yn edrych ar Gymdeithas Dirwest fel un o brif olwynion y peirianwaith moesol ag sydd i godi ein gwlad ni, a'r byd oll, i dir digonoldeb a dedwyddwch.—"S. R."—*Anerchion o Blaid Dirwest.*

---

## ARWIREBAU.

Ffydd yw llygad yr enaid, a thystiolaeth yr efengyl yw y goleuni ymha un y mae yn gweled gwrthddrychau yn eglur a chywir.

Pawb sydd yn meddu ffydd Paul, a feddant, hefyd, weithredoedd Iago.

Môr o wydr yw'r byd; ac y mae cystuddiau yn lluchio graian a lludw ar ein llwybr, er mwyn cadw ein traed rhag llithro.

Mae nwydau cryfion yn rhedeg yn dda pan fyddo rheswm cryfach yn eu ffrwyno.

Gristion, gâd dy enw da yn yr un llaw ag y rhoddaist dy enaid; fe gymer dy Arglwydd ofal y ddau.

Llawer mwy effeithiol yw eglurhâu y gwirionedd mewn pwyll na gwrthwynebu cyfeiliornad mewn ffyrnigrwydd.

Mae gras y nefoedd yn ein cael yn gardotwyr, ac yn ein gadael yn ddyledwyr.

Os caiff Crist ein hewyllys da, yn sicr ni a roddwn iddo ein gair da. Nid oes neb sydd yn ei garu yn cywilyddio siarad drosto.

Mae yn rhywbeth o werth i ddyn fod yn nôd i saethau cenfigen; nid oes neb yn cenfigenu wrth arall am fod hwnw yn dlotach neu yn anenwocach nag efe.

Bydded i ni foddloni pawb os gallwn wneyd hyny ynglŷn â'r gwirionedd; ond na ddarniwn y gwirionedd i foddloni neb.

Mae Crist yn ei efengyl yn cael ei groeshoelio eto rhwng dau leidr: Antinomiaeth a Phariseaeth.

Ffodus iawn mewn un ystyr yw'r dyn sydd yn ymroddi i fod yn anfoddog, gan na bydd efe byth yn ddiffygiol am destynau i'w anfoddlonrwydd.

Mae pobl ragfarnllyd yn debyg i rai coedydd sydd yn tyfu ar lân y môr, nad ydynt yn lledu eu cangau ar bob tu, ond yn tyfu yn wyrgam ar un ochr.

Beth yw credu yr efengyl ond coelio fod Duw yn ddoethach na nyni?

Achwyn ar Dduw sydd un peth; achwyn wrth Dduw sydd beth arall.

Nis gallwn ddirnadu am dduwioldeb heb foesoldeb mwy nag am afon heb ddwfr, neu haul heb oleu a gwrês.

Pan y mae bydol-ddoethyn yn ymdaflu i waelod môr natur, yn lle dychwelyd yn llwythog o berlau gwerthfawr, ni bydd ganddo ddim ond dyrneidiau o gregyn a thywod.

# Barddoniaeth.

## CRIST GER BRON PILAT.

[SYR,—Y mae yn debyg fod y darlun ardderchog o waith Mulcansky wedi ei wneyd yn hysbys i'r rhan amlaf o ddarllenwyr y DRYSORFA, a bod llawer o honynt wedi cael y fraint o'i weled. Tua diwedd Medi diweddaf bum yn Liverpool yn cael golwg arno, a gallaf dystio ei fod yn wir effeithiol; a gadawodd yr olygfa ar y *canvas* argraff neillduol ar fy nheimlad a'm meddwl i, yr hyn, mi dybiwyf, na ddileir yn fuan. Wrth fyfyrio ar y darlun, tueddwyd fi i gyfansoddi y pennillion canlynol.—E. T.]

YMHLITH holl feibion dynion,
A gafwyd un difai?
Ai nid rhyw ddiffygiadau
Sy 'n perthyn i bob rhai?
Na! wele un Dyn perffaith,
Ac un yn unig sy,
Yn meddu glân ddynoliaeth,
Heb un brycheuyn du.

Crist Iesu ydyw 'r enw,
Mae 'n un rhyfeddol iawn;
Ar ddengmil mae 'n rhagori
Ymhob rhinweddol ddawn;
Mae harddwch anghymharol
Ei natur ddynol ef,
Yn destun sylw a syndod
Angylion nef y nef.

Mae 'n hardd ei gyfansoddiad,
A lluniaidd iawn yw oll,
A phob rhyw ddynol deithi
Geir ynddo yn ddi-goll;
Hawddgarwch yn ei wyneb,
A thlysni yn ei wedd,
Sirioldeb yn ei lygaid,
Ac ar ei ael mae hedd.

Mae 'n Berson boneddigaidd,
Ond diymhongar iawn,
Can's yn ei wedd mae arwydd
O fynwes rasol lawn;
Mae 'n dirion ei edrychiad,
Ac ar ei fin mae gras;
Ond nid oes dim yn tycio
I foddio 'r gelyn cas.

Ah! dacw 'r Bendigedig
Yn sefyll yn y llys,
Ger bron gorseddfainc Pilat,
Heb arwydd braw na brys;
Er fod y dorf yn bloeddio,
A'r mawrion yn sarhâu,
Mae Ef yn dawel ddigon
Gerllaw y tystion gau.

Mae 'r gadwen am ei ddwylaw,
Heb achos yn y byd,
A'r wenwisg laes am dano
Yn dangos gwawd i gyd;
Wrth iddo dalu sylw
I Pilat ar ei sedd,
Canfyddir dieuogrwydd
Yn amlwg yn ei wedd.

Paham y rhaid i'r milwyr
Ei warchawd Ef fel hyn,
A gwneuthur cylch am dano
A'u hirion waewffyn

Mae Ef fel Oen diniwed,
Yn addfwyn iawn a mud;
Er dyoddef chwerw driniaeth
Un hynaws yw o hyd.

Yn erbyn ei gyhuddwyr
Ni chododd Iesu ei lais,
Ac nid oedd raid i'r swyddog
Ei gym'ryd Ef trwy drais:
Ei agwedd yn y brawdlys
A ddengys farn a phwyll;
Ac argyhoeddwyd Pilat
Ei fod yn Ddyn di-dwyll.

Paham mae 'r Difrycheulyd,
A'r goreu dan y nef,
Yn sefyll fel troseddwr
Fel hyn yn llys y dref?
Yn wir, 'r wy 'n teimlo awydd
Cael rhoddi gair o'i blaid,
A rhown yr oll a feddwn
I'w achub, pe b'ai raid.

Chwychwi, ddinaswyr Salem,
Ai tybed mai chwi sydd
Yn dewis, yn lle 'r Iesu,
Barabbas ddrwg yn rhydd?
Ai 'r Pagan gais ymolchi
Yn lân rhag gwaed y Sant,
A'r Iuddew yn croesawu
'R euogrwydd ar ei blant?

Peth rhyfedd na fuasai
Yr Iesu 'n troi o'i ol,
I edliw i'r tyrfaoedd
Eu hanghysondeb ffol:
Dadseinient ddoe "Hosannah"
I'w enw âg uchel lef,
Ond heddyw cydymunant
I dd'weyd, "Croeshoelier ef!"

O anwyl, addfwyn Iesu,
Myfi ddylasai fod
Yn sefyll yn y ddalfa,
A thithau fry mewn clod!
O ryfedd ras a chariad,
Oedd yn yr Iesu mawr,
Pan ddaeth i ddeddfle 'r euog,
Er arbed llwch y llawr!

Wel, ar y Person yma
Mi ro'f fy serch a'm bryd,
I'w garu a'i addoli
Tra byddaf yn y byd:
Hwn ydyw Rhosyn Saron,
A Lili 'r dyffryn yw;
Rhagori mae 'n anfeidrol
Ar bob creadur byw.

EVAN THOMAS.

*Dolwyddelan.*

## PRESWYLIAD YSBRYDOL DUW.

"Dywedodd Duw, Mi a breswyliaf ynddynt."—2 CORINTHIAID vi. 16.

O DDUW, a all hyn fod
Yr ymostyngi di
O lys y nefol rwysg a'r clod
I drigo gyda mi?

A ddaw dy Fawredd clir
I fwthyn sydd mor wael!
Rhyfeddol yw dy ras yn wir,
A'th hedd sydd gefnfor hael!

Nid teilwng wyf, O Dduw,
O fraint y cariad cu,—
Mwynhâu dy bresennoldeb gwiw
O fewn fy nghalon ddu!
Ni feddaf unrhyw rin
I'th wahodd ataf fi,
A gofyn mae fy llygredd blin
Am d' ymadawiad di.

Er hyny tyr'd, fy Iôr,
I mewn i'm calon gas;
Agor yr wyf y rhydlyd ddôr
I dderbyn cyfoeth gras:
Preswylydd mawr y berth,
Preswylia dan fy mron;
Felly cymhwysir un di werth
I breswyl nefoedd lon. P. R.

# Bwrdd y Golygydd.

### PEDWAR-CANMLWYDDIAD LUTHER.

Ar y 10fed o'r mis Tachwedd nesaf, bydd yn bedwar can' mlynedd union er pan anwyd y Diwygiwr Protestanaidd, Martin Luther; o herwydd Tachwedd 10, 1483, oedd dydd ei enedigaeth. Ac y mae Protestaniaid Germany am hynodi y dydd hwnw fel gŵyl arbenig, er mwyn gwneuthur cydnabyddiaeth gyhoeddus o'r fath ragoraf o'r gwasanaeth effeithiol ac ysplenydd a wnaeth y Diwygiwr enwog i wir eglwys Crist a chrefydd efengylaidd. Fel y sylwodd un, yr oedd gwaith Luther yn dal allan hawl pob cristion i ddarllen a deall gair Duw drosto ei hun—ei gyfieithiad ardderchog o'r Bibl i'r iaith Almaenig—ei ddynoethiad o lygredigaethau Eglwys Rhufain, ac o ymhoniadau disail ei chlerigwyr—ei faentumiad diysgog o'r athrawiaeth am annibynoldeb yr enaid ar swyddogaeth offeiriadaeth ddynol, a'i gadwedigaeth drwy ffydd uniongyrchol yn Nghrist—ei wrolder yn bwrw ymaith yr hen ffurfiau arferedig o gyflawniadau crefyddol, a dangos ffyddlondeb i gyfraith rhyddid y Testament Newydd—a chysegriad trwyadl ei alluoedd mawrion a'i ymadferthoedd dihafal i wasanaethu Crist yn yr efengyl—yr oedd hyn oll, meddir, yn cael eu harddelwi a'u bendithio gan Ben yr Eglwys i arddangos a lledaenu ffydd Crist, wedi ei phuro oddiwrth y cyfeiliornadau a'r llygredigaethau oedd wedi tywyllu ei gwedd ac anmharu ei nerth. Mae y Diwygiad Protestanaidd drwy offerynoldeb Luther yn deilwng o'i goffâu yn y modd eangaf a gwresocaf; a hyderwn y bydd ein cyfeillion yn Nghymru yn cymeryd mantais o'r pedwar-canmlwyddiad hwn i alw sylw mewn mwy nag un ffordd at egwyddorion a rhagoriaethau Protestaniaeth efengylaidd; canys, "onid oes achos?"

---

### DEON BANGOR AC YFED TE.

Y mae cyfaill yn dymuno arnom roddi yr hyn a ganlyn yn y Drysorfa, a gymerwyd allan o'r *Nonconformist and Independent*:—

Y tro nesaf y byddo Deon Bangor yn ddigrifion *(humorous)*, efe a ddylai ddyweyd ei fod felly, onidê yr ydym yn ofni y pery efe i gael ei gamddeall, ac y bydd i lawer o bobl dda gymeryd ei ddigrifwch yn beth o ddifrif. Fel hyn, oddeutu wythnos yn ol, mewn cyfarfod i rwyddhâu sefydliad dosbarthiadau coginiaeth mewn ysgolion elfenol, efe a ddywedodd pe caffai efe ei ffordd ei hun y byddai llawer llai o yfed tê ymhlith pob dosbarth o bobl. Yr oedd blawd ceirch a llaeth yn cynnyrchu meibion a merched cryfion, calonog, ac o dymher dda, tra yr oedd yr yfed tê gormodol yn creu cenedlaeth o bobl bruddglwyfus ac anfoddog, y rhai oedd bob amser yn cwyno o herwydd trefn bresennol yr holl fyd, yn ysgowlio eu cymydogion, ac yn ocheneidio am yr anmhosibl. Yr oedd efe yn credu yn gadarn y gwnai coginiaeth dda eu galluogi i goleddu syniadau llawer uwch a chywirach am fodolaeth. Yn wir, yr oedd efe yn drwgdybio fod gormod o yfed tê, trwy ddyfetha llonyddwch y gïau, yn gweithio fel grym chwyldroadol peryglus yn ein plith. Yr oedd yfed tê yn adnewyddol deirgwaith neu bedair yn y dydd yn gwneyd i feibion a merched deimlo yn weiniaid, a'r canlyniad oedd fod y têcetl yn myned o flaen y botel *gin;* ac yr oedd y gwendid corfforol a gïenol oedd wedi gwreiddio yn nghogyddiaeth salw gwraig anwybodus yn dybenu mewn dinystr, anghymedroldeb, ac afiechyd. Wel, yr oedd pobl yn tybied fod y deon yn meddwl yr hyn yr oedd efe yn ei ddyweyd. Yr oedd ei siarad yn edrych mor sylweddol, ac ar yr un pryd *gallai fod* cryn synwyr cyffredin ynddo, er ei fod braidd wedi ei dynu yn rhy gryf. Ond y mae yn ymddangos mai o gellwair yr oedd efe yn llefaru fel hyna. Pwy a fuasai yn meddwl! Mewn llythyr i'r *Standard*, efe a ddywed:—

"Gwrthdystio yr oeddwn i yn erbyn hysbysiaeth ddrwg y gwragedd sydd yn gwneyd tê a bara ac ymenyn agos yn unig arlwy i weithwyr yn derbyn cyflogau da. Ar draul y cadeirydd—Rhyddfrydwr cryf—ymollyngais i wneyd rhai damcaniaethau digrifol ynghylch y cysylltiad a allai fod rhwng yr yfed tê gormodol â syniadau eithafol mewn gwleidyddiaeth, gan awgrymu y gallai y bwyd salw sydd yn gwanhâu cyfansoddiad corfforol y dinasydd effeithio i ddymchwelyd y cyfansoddiad gwladol. Diau, wrth ymdrin â chogyddiaeth, nad oeddwn yn methu yn fawr wrth ddodi ychydig o bêraswyr dyeithr-syniad *(paradox)* i bwnc lled ddiflas. Mae'r sylwadau a wnaed ar fy araeth fechan gan Wasg Llundain wedi fy argyhoeddi i, od oes gormod o dê yn Nghymru, nad oes gormod o *humour* yn Lloegr."

Ac eto y mae'r bobl yma yn Lloegr sydd yn amddifad o *humour* yn darllen Dickens gydag hyd yn nôd mwyfwy hyfrydwch! Fe allai wedi'r cwbl mai *humour* y Deon oedd ar ol! Yr ydym yn mawr edmygu Mr. Edwards fel

pregethwr hyawdl; ond yr ydym yn ofni fod ganddo fel ysmaliwr cyhoeddus rywbeth i'w ddysgu. Yn y cyfamser, y tro nesaf y gwnelo efe rai sylwadau digrifol ynghylch coegyddiaeth ac anianddysg, yr ydym yn gobeithio y dywed, "Daliwch sylw, *joke* ydyw hynyma."

---

### MULOD AC ASYNOD.

BARCHEDIG SYR,—Y mae tipyn o anghydwelediad rhyngof fi â chyfaill ynghylch y mulod y mae Mr. E. Owen, Bootle, yn son am danynt yn NHRYSORFA Hydref yn cario'r teithwyr yn y Dwyrain (tu dal. 378). Myn fy nghyfaill mai mulod yn llythyrenol oeddynt, *mules*, a elwir genym weithiau yn fastarddiaid-mulod; ond mynwn i mai asynod oeddynt, y rhai a gamenwir gan bobl yn fynych, trwy eu galw yn fulod. Hwyrach y bydd Mr. Owen mor dirion â phenderfynu rhyngom. Yr wyf yn cofio, pan oeddwn yn fachgen, weled yr athrylithgar a'r hynod Enoc Evans yn dyfod unwaith i'w gyhoeddiad ar gefn asyn. Dywedai blaenor wrtho, "Ho, ho! pregethwr ar gefn mul, ai ie?" "Nage ddim," oedd ateb Enoc; "nid mul ond asyn sydd genyf; ac fe fu fy Meistr mawr yn marchogaeth ar asyn; ac y mae yn fraint genyf fi fod yn hyn yn debyg iddo."—Yr eiddoch, &c.,

TOMOS MEIRION.

---

## Adolygiad y Wasg.

HANES YR ATHRAWIAETH GRISTIONOGOL. *Y Cyfnod Cyntaf* (80—254). *Gan* JOHN HUGHES, D.D. Cyfrol I.

Treffynnon: P. M. Evans and Son.

DYMA lyfr newydd ar fater newydd i Gymru, a hwnw yn fater o bwys arbenig i ben a chalon dyn a christion. Er ys llawer o flynyddoedd bellach, yr oedd gan yr efrydydd duwinyddol yn yr Almaen fanteision i ymgydnabyddu â syniadau duwinyddion enwocaf yr oesoedd am wirionedd yr efengyl yn ei holl ganghenau; a dysgwylid iddo ef fod yn hyddysg ymhob rhan o hanes yr athrawiaeth, mewn cysylltiad â'i phleidwyr ac â'i gwrthwynebwyr, ar yr hyn y traddodid darlithiau yn y Prifysgolion, ac y cyhoeddwyd aml grynodeb gan ysgrifenwyr galluog. Nid felly yr ydoedd yn y wlad hon; nage, nid felly yn Lloegr a Scotland, chwaithach yn Nghymru. Ond weithiau y mae rhai llyfrau o werth ar hyn, yn gystal ag ar faterion eraill sydd yn bwysig i'r Eglwys Gristionogol, wedi eu cyfieithu i'r Saesoneg. Ac wele ninnau yn Nghymru o'r diwedd yn cael yr hyn sydd lawer amgen na chyfieithiad, sef y gyfrol gyntaf o "Hanes yr Athrawiaeth Gristionogol" gan un o feistriaid y gynnulleidfa. Caniatäer i ni wneyd dyfynnodiad byr o'r "Rhagarweiniad," i ddangos pwysigrwydd yr athrawiaeth i ac yn y Grefydd Gristionogol:—

"Crefydd ffeithiau ydyw Cristionogaeth, a'r ffeithiau hyny yn eu natur yn brofadwy; oblegid y mae y ffeithiau a gymerasant le yn y byd ysbrydol, tu hwnt i'n golygon, yn gyfryw ag y gellir eu profi trwy ffeithiau eraill agosach atom. Ffaith oedd yr ymgnawdoliad, a ffaith oedd offrymiad yr aberth ar y groes, ond ffeithiau o'n golwg. Eithr y mae holl fywyd yr Iesu a holl fywyd yr eglwys yn brawf o'r cyntaf, ac y mae yr adgyfodiad yn brawf o'r ddwy. Ond nid yw yr athrawiaeth na mwy na llai nag arwyddocâd y ffeithiau. Nid yw athrawiaethau y Cnawdoliad a'r Iawn ond y wedd a gymer y ddwy ffaith yn marn a chrediniaeth yr Eglwys, a'r eglurhâd a ddyry arnynt yn ngoleuni yr Ysgrythyrau. Ac anmhosibl fuasai i'r Athrawiaeth beidio bod. Mae y ffeithiau ac ystyr y ffeithiau yn cael eu hysbysu yn y Testament Newydd fel testynau meddwl a myfyrdod; ac y mae yn anmhosibl meddwl arnynt yn ddwys heb ofyn, Paham? Pa fodd? I ba ddyben? A'r cais i ateb y cyfryw gwestiynau ydyw athrawiaeth. Mae Cristionogaeth yn meddu ar bob cymhwysder i gaethiwo y meddwl arni. Mae ei gwirioneddau yn fawrion; y maent yn llawn rhyfeddod a gogoniant. Pe na buasai perthynas neillduol rhynddi â dyn, buasai yr ansoddau o fawredd a gogoniant—"y lled a'r hyd, yr uchder a'r dyfnder"—yn sicrhâu astudrwydd pob meddwl ystyriol iddi. Ond y mae y cysylltiad agosaf rhyngddi â dyn; ac y mae hyn yn rheswm ychwanegol dros ymroddiad y meddwl iddi. Ac unwaith yr agorir llygad y meddwl ar ei rhyfeddodau, mae cariad y galon yn cael ei hennill o'i phlaid, ac mwyach nis gall y meddwl beidio talu sylw dyfal iddi. Ond nis gall wneuthur hyny heb wahaniaethu, cymharu, dosbarthu, dadansoddi, ac uno—heb ymofyn am y gwahaniaeth a'r berthynas rhwng y gwirioneddau â'u gilydd, pa un yw yr achos a pha un yr effaith. Nis gallwn foddloni ar ffeithiau heb wybod eu hystyr; ac nis gallwn feddwl am ddau wirionedd heb geisio deall eu perthynas. Ceir rheswm am yr athrawiaeth yn nghyfansoddiad ein meddyliau. Ac y mae y rhai a gollfarnant gyfundrefn o dduwinyddiaeth yn collfarnu y meddwl dynol am fod yr hyn yw. Megys y mae y deall yn hanfodol i'r meddwl, felly hefyd y mae yr athrawiaeth i Gristionogaeth. Profir hyny gan Hanesiaeth. Mae y teimlad fyddo heb ei feithrin gan athrawiaeth, naill ai yn ebrwydd yn diflanu, neu yn ymlygru yn deimlad afreolaidd ac aflachus. Ar y llaw arall, mae pob adnewyddiad ar deimlad gwirioneddol yn yr Eglwys yn gysylltiedig âg adnewyddiad ar ei dirnadaeth o'r athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb."

Sylwer hefyd fod Hanes yr Athrawiaeth,

tra yn anwahanol oddiwrth Hanes yr Eglwys, eto yn wahaniaethol oddiwrthi:—

"Mae y prif ysgrifenwyr ar Hanes yr Athrawiaeth yn egluro y berthynas a'r gwahaniaeth rhyngddi a changhenau eraill cydrywiol, ac yn sylwi hefyd ar y budd a ddeillia o'i hefrydu i'r cristion a'r duwinydd. Mae y berthynas agosaf rhyngddi â Hanesiaeth Eglwysig fel y mae yn brif ran o honi. Ond yn yr oes bresennol, ar gyfrif eangder y maes, trinir hi fel gwyddoreg arni ei hun. Tra y cyfynga un ei ymchwiliadau i lywodraeth a threfn yr Eglwys, un arall i hanes ei chynghorau, un arall i'w pherthynas âg athroniaeth neu â heresi, y mae un arall yn cyfyngu ei hun i'w hathrawiaeth. Dadblygiad yr athrawiaeth ei hun ydyw maes yr olaf, tra y mae yr hanesydd cyffredinol yn edrych ar yr athrawiaeth yn ei pherthynas â'i holl hanes. Mae golygiad yr hanesydd cyffredinol ar yr athrawiaeth yn fwy dyddorol, fe allai, na'r un a ddyry yr hwn sydd yn cyfyngu ei hun i'r athrawiaeth; oblegid y mae yn cymeryd golwg arni yn ei pherthynas â bywydau y prif athrawon, ac â holl hanes yr Eglwys. Ond os yn fwy dyddorol, y mae, o angenrheidrwydd, yn llai trwyadl; oblegid y mae y maes yn rhy eang ac einioes yn rhy fer. Mae y berthynas agosaf hefyd rhyngddi â Hanes Credoau a Chyffesion. Ond y mae yn gwahaniaethu oddiwrtho yn hyn,—fod y cyntaf yn dilyn holl gwrs dadblygiad yr athrawiaeth, tra nad yw yr olaf yn sylwi ond ar y canlyniad neu y ffrwyth yn unig. Mae y naill, oddiar safle yr hanesydd, yn ymofyn am undod, perthynas, a chynnydd yn yr athrawiaeth. Mae y llall, yn fwy oddiar safle y dadleuwr, yn chwilio am y gwahaniaeth yn marnau gwahanol eglwysi."

Y mae'r gyfrol hon (yn cynnwys 308 o du dalenau) yn aros yn unig gyda'r Cyfnod Cyntaf o'r Hanes, sef o ddiwedd yr Oes Apostolaidd hyd farwolaeth Origen. Rhoddir i ni, i ddechre, olwg ar Iuddewiaeth ac ar Baganiaeth, i ddangos sefyllfa meddwl a barn tu allan i'r Eglwys. Yna dygir ni at Athrawon Eglwysig yr Ail a'r Drydedd Ganrif: y Tadau Apostolaidd a'r Diffynwyr boreuaf, ac Ysgolion Alexandria a Carthage. Wedi hyny cawn Gristionogaeth ac Ebioniaeth, a Christionogaeth a Gnosticiaeth. Ac yna yr ydym yn cael golwg mwy neillduol ar Athrawiaeth y Cyfnod: yr Athrawiaeth am Ddadguddiad ac Ysbrydoliaeth, am Dduw, am Ddyn, am Grist a'r Prynedigaeth, am yr Eglwys, ac am y Pethau Diweddaf, y rhai oll a nodir yn fanwl a chryno.

Wrth dryddarllen ac astudio y llyfr nodedig hwn, caiff y meddwl ei eangu, ei gryfhâu, a'i leshâu. Mawr hyderwn y bydd ein pobl ieuainc yn gyffredinol, holl athrawon ein Hysgolion Sabbothol, ac yn neillduol ein holl bregethwyr ieuainc, yn gwneuthur defnydd trwyadl o'r gyfrol hon. Cânt yma Gymraeg claer a chryf, yn cyfleu adeiladaeth sylweddol; a gwelant nad yw yr "athrawiaethau amryw a dyeithr" a ddygir ymlaen yn y dyddiau hyn yn erbyn "y pethau a gredir yn ddiammheu yn ein plith," i'w hystyried yn olygiadau newyddion a diweddar. Na, hwy a gânt allan yma fod y cyfryw neu y cyffelyb syniadau ffuantus wedi ymosod ar yr hen efengyl mewn amseroedd blaenorol, a bod dynion Duw trwy yr Ysgrythyr Lân wedi eu gorchfygu yn deg. Yr oedd cewri, ni a welwn, yn yr Eglwys yn y dyddiau gynt, y rhai yr oedd ynddynt ormod o fawredd i dalu gwarogaeth slafaidd i uniongrededd, ond a brofent bob peth, a ddalient yr hyn sydd dda, ac felly a ymdrechent yn fuddugol yn mhlaid y ffydd, yr hon a roddwyd unwaith i'r saint.

O ran ei argraffwaith, mae y llyfr wedi ei orphen yn dda; a cheir yn ei ddiwedd Fynegai hwylus at yr oll a gynnwysir ynddo.

---

GWAITH BARDDONOL Y PARCH. ROWLAND WILLIAMS (*Hwfa Môn*).

Llanerchymedd: Jane ac E. Jones.

PWY ni ŵyr fod Hwfa Môn yn un o brifeirdd Cymru? Bu yn fuddugwr mewn lliaws o gystadleuaethau eisteddfodol, ac yn gadeirfardd ynddynt. A dyma lyfr mawr (yn cynnwys 410 o du dalenau) yn cyflwyno i ni gynnyrchion ei awen. Fel y darlunia efe yn "Awdl y Bardd," y cawn yntau:—

"Ehêd ei amgyffredion
Drwy y ddaear hawddgar hon.

"O'r isel fröydd a'u glenydd gleinion,
Dros heulawg fryniau â'i gwenau gwynion,
Heibio i'r cymylau, doau duon,
Dyrcha ei olwg hyd yr uchelion;
A thyna, mewn iaith union,—ddarlunia
O'r holl fynyddau a'u gelltau gwylltion.

"Ei olwg dreiddia eilwaith
Drwy neu y ffurfafen faith,
A'i themlau mawr a'u gwawr gain
Agora â'i law gywrain.

"Edrycha hefyd i oruchafion
Y ffurfafenau a'u lluniau llawnion;
Noda eu gwalltawg blanedau gwylltion,
A hwylia eu gwenawl heuliau gwynion;
Aneirif ei ddesgrifion—o gylchoedd
Daear a nefoedd, a dyfnder neifion."

"Doniau ei danllyd anian—a'i lwyddiant,
Ni luddia byd cyfan;
Ei nefol brydyddol dân
Drwy wyll belydra allan."

"Awdl y Flwyddyn," buddugol yn Eisteddfod Genedlaethol Caernarfon yn 1862, sydd, fel y dywed y beirniaid, "yn orlawn o syniadau awenyddol, dillyn, tyner,

...wreiddiol." Ac am "Awdl Ieuan Glàn Geirionydd," dywedai y diweddar Nicander, "Hon, yn fy marn i, yw yr Awdl-Farwnad fwyaf rhagorol a ymddangosodd yn yr iaith." Ac am "Arwrgerdd Owain Glyndwr," barnai ei beirniaid ei bod "yn gyfoethog fel Cymru, yn syml fel Natur, ac yn Wyddfa mewn mawredd." Pa fodd bynag, caiff y darllenydd bellach farnu drosto ei hun. Yr "Arwrgerdd" yw y gyfansoddiad meithaf yn yr holl lyfr; ac i'n tyb ni rhaid cael amynedd mawr i'w darllen drwyddi oll; o herwydd cân benrhydd ydyw, pryddest ar "fydr anghyfawdl," ys dywed Silvan Evans; ac yn ein byw nis gallwn ni fwynhâu *blank verse* mewn diwyg Gymreig, gan nad yw, dybygem, yn dygymmod oll â theithi hen iaith glecseiniol y Brython. Ond pawb at ei chwaeth, medd yr henair.

Cyflwynir y gwaith i "Richard Davies, Ysw., A.S., yr aelod anrhydeddus dros Ynys Môn, yr hwn sydd yn Noddwr ffyddlawn i Lenyddiaeth ei wlad," a cheir rhestr o'r tanysgrifwyr, yn cynnwys enwau lawer, llên a lleyg.

Mae'r testynau yn lliosog; ac yn eu mysg ceir llawer o englynion unigol i bersonau, ac amryw o honynt yn feddargraffiadau. Dyma englyn "Yr Hen Lanc:"

"Wedi aros i led oeri—yn brudd
Heb wraig i'w sirioli,
Yr *Hen Lanc* ar branc mewn bri
A redodd i'w briodi!"

Mae rhywbeth yn ofnadwy yn yr englyn canlynol, sef am yr annuwiol yn Nystryw:—

"Trengu ni chaiff y truan—yn y Fall;
Pery 'n fyw mewn brwmstan;
Nis gellir llosgi allan
Ei enaid du yn y tân."

Englynion campus yw yr englynion i *John Elias ar Green y Bala*. Y mae yma driugain o honynt; ond digon i ni ddwyn ymlaen y pedwar canlynol:—

"Ei bryd oedd lawn o'r ysbrydol—yn bur
Heb arwydd rhagrithiol,
Na rhithiad o ffurfiad ffol,
Nodwedd meddyliau cnawdol.

"Lluniaidd oedd ei ddiwall enau—denol
A'i dynion wefusau
Yn deg oll wedi eu gwau
I gywrain dori geiriau.

"Dyn hardd o dan ei urddoedd—a'i olwg
Yn ddelw o'r nefoedd;
Y didwyll brophwyd ydoedd,
Cenad Duw yn y cnawd oedd.

"Elias i wyliau Sion—ydoedd
Fendigedig goron;
Yr uchaf oraf wron
Ar eu mae oedd Athraw Môn."

Ond ofer i ni fyned ymlaen i bigo danteithion yma a thraw o'r cyflawnder sydd ger bron; caiff y darllenydd ei wala a'i weddill o farddoniaeth ar fwrdd *Hwfa*.

Y mae yma ychydig bennillion i'w cael; ond rhyfedd yw effaith ymarferiad! ni a gawn y bardd yn gweithio yn llawer gwell yn ystafelloedd cyfyng y rheolau caethion nag ar faes agored y mesurau rhyddion. Pwy ni fedr gyfansoddi fel hyn?—

"Am hyny gwell boddloni 'n awr
I Lywydd nef a daear lawr,
A d'weyd o hyd tra byddwn byw,
Gwnaed ef a fyno, 'r Arglwydd yw."

Hyderwn y caiff y llyfr hwn dderbyniad cyffredinol gan ein cydwladwyr, ac yn enwedig gan bawb sydd yn hoffi Awen Cymru. Ni bydd bellach un ystorfa o farddoniaeth Gymreig yn gyflawn heb fod ynddi *Weithiau Barddonol Hwfa Môn*.

---

BRIWSION DUWINYDDOL: *sef, Traethodau Buddugol ar amryw Faterion Duwinyddol, gan* RICHARD CEINWENYDD OWEN, *gyda Rhagymadrodd gan y Parch.* OWEN THOMAS, D.D.

Liverpool: argraffwyd dros yr Awdwr a'r Cyhoeddwr gan Foulkes ac Evans.

AM y llyfr hwn, dywed Dr. Thomas—a phwy sydd gymhwysach i farnu? "Y mae yr Awdwr ynddo yn ymdrin â rhai o'r cwestiynau pwysicaf a berthynant i'n crefydd, a chwestiynau ag sydd y dyddiau hyn yn galw am sylw neillduol; ac y mae yn gwneuthur hyny, hyd y gallaf fi weled, yn hollol yn ysbryd yr efengyl, gan chwilio allan yn bwyllog ac yn onest am feddwl Duw, megys ag y mae wedi ei ddadguddio yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, ar y gwahanol byncian sydd yn dyfod ger ei fron, a chan arddangos parodrwydd calon i dderbyn y meddwl hwnw yn gwbl ostyngedig a dibetrus. . . . . . Arwyddir amcan amlwg yn y traethodau hyn i gymeryd i mewn gynnwysiad ac ystyr y Dadguddiad Dwyfol yn ei gyfanrwydd, ac nid rhyw ranau o hono, ar y cwestiynau neillduol sydd dan sylw ynddynt, a hyny heb ddefnyddio cymaint ag un gair angharedig am y rhai a allant fod yn synied yn wahanol ar y naill neu y llall o'r materion yr ymdrinir â hwynt?"

Materion y Traethodau ydynt,—Dwyfoldeb y Bibl—Dwyfoldeb Person Crist—Perffeithrwydd Cymeriad Moesol Crist—Athrawiaeth yr Iawn fel ei dysgir gan Grist a'r Apostolion—Llywodraeth Deuluaidd—Deddf, Gwyrthiau a Gweddi—gyda Barddoniaeth ar y testynau, Gweddi, a'r Amddifad. Y beirniaid arnynt oeddynt,

Mr. John Davies *(Gwyneddon)*, y Parch. Brif-athraw T. Charles Edwards, M.A., a Dr. Hughes, Liverpool; ac y mae yn ddilys na buasai y cyfryw feirniaid adnabyddus a chymhwys yn canmawl unpeth heb ei fod yn wir ganmoladwy.

Ni a obeithiwn y caiff y *Briwsion Duwinyddol* hyn dderbyniad helaeth, gan ei fod yn llyfr sydd o ran ei gynnwysiad yn sylweddol ac adeiladol, ac o ran ei wisg allanol yn brydferth; a dymunwn gyda *Pedrogwyson*,

"Y llyfr rhad fel llif rheded,—a chaisier,—
I'w iachusol yfed,
A dal ar ei hyd a'i lêd,—
Ddystawrydd i'w ystyried."

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### MARWOLAETH Y PARCH. W. M. EVANS, AUSTRALIA.

Yn niwedd y mis diweddaf daeth y *Ballarat Star* am Awst 6ed i'n llaw, wedi ei gyfeirio atom gan Mr. C. Prosser, yn rhoddi yr hysbysiad galarus am farwolaeth y Parch. W. M. Evans. Fel hyn y dywed y papyr hwnw:—"Y mae yn ddrwg genym hysbysu marwolaeth y Parch. W. M. Evans, gweinidog yn nghyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig, pa amgylchiad pruddaidd a ddygwyddodd nos Sadwrn (Awst 4) yn ei dŷ, Main-road, ar ol tri mis ar ddeg o anhwyldeb poenus yn codi oddiar lesgedd natur. Yr oedd Mr. Evans yn ŵr o dalent ac ymröad. Yr oedd efe yr hyn a elwir yn *self-made man*. Tri deg a chwech o flynyddoedd yn ol, efe a ddaeth i fwngloddiau Burra Burra, Deheudir Australia, ac a weithiodd yno fel mwnwr. Gan gyfarfod â rhai o'i gydgenedl yno, perswadiwyd ef gan un o honynt i ddechre pregethu. Efe oedd y cyntaf i bregethu yr efengyl yn Gymraeg ar y cyfandir hwn; ac nid oedd efe y pryd hwnw ond un mlwydd ar hugain oed. Pan y cychwynwyd ar y *diggings* yn Victoria, efe, fel llawer eraill, a ddaeth drosodd yma, ac a wellhäodd o ran ei amgylchiadau. Yna efe a ddychwelodd i Gymru, ac a gymerodd ei rieni i'r America, ac a'u sefydlodd yn Wisconsin. Ar ol hyny efe a briododd ac a ymgymerodd â *business*, ac a anturiodd gyda mwngloddio. Yr un modd â llawer eraill, cyfarfu â blinder mawr. Ordeiniwyd ef fel gweinidog, ac efe a ddychwelodd yma o'r America bedair blynedd ar hugain yn ol. Aeth yn ol drachefn, ymhen tair blynedd, am ei deulu, ac a ddychwelodd yn y flwyddyn 1865. Yr oedd Mr. Evans o dueddfryd caredig ac ystyriol. Gwnai ddaioni er mwyn y daioni ei hun. Ennillodd lawer o gyfeillion drwy'r drefedigaeth, y rhai a ddarllenant y newydd am ei farwolaeth gyda'r tristwch mwyaf. Gadawodd yr ymadawedig wraig a thair o enethod bychain. Nid yw yr eneth hynaf ond deuddeg oed. Buasai Mr. Evans yn 57 oed pe buasai fyw hyd y Sabbath nesaf."

### PENARTH, GERLLAW CAERDYDD.

Y mae Twyn Penarth wedi dyfod yn ymdrochle poblogaidd, ac yn yr haf yn gyrchfa miloedd. Mae gan ein Cyfundeb achos Seisonig yno er ys blynyddoedd; ond hyd yn ddiweddar nid oedd un achos Cymreig yn y gymydogaeth. Tua mis Mai diweddaf cychwynwyd achos crefyddol mewn goruwchystafell oedd wedi bod yn siop saer; ac aeth y lle yn fuan yn rhy fychan. Ond ar gyfer hyny, rhoes Mr. E. Ellis Roberts, *grocer*, neuadd ëang yn Heol Ludlow at wasanaeth y frawdoliaeth, a hyny am ddim, ac am saith mlynedd. Aed i'r draul i wneuthur pulpud, eisteddleoedd, a gosod *gas* i mewn, &c. Ac ar yr 16eg o Fedi, gwnaed agoriad ffurfiol ar y neuadd, pryd y pregethodd y Parch. T. C. Phillips, Mountain Ash, yn y bore, y prydnawn a'r hwyr, i lonaid yr ystafell o bobl. Ac y mae yno bob argoelion am gynnydd a llwyddiant.

### TYSTEB I'R PARCH. PETER ELLIS, PENYBRYN, RHIWABON.

Cynnaliwyd cyfarfod yn nghapel Penybryn, perthynol i Gyfarfod Misol Sir Fflint, nos Wener y 12fed o Hydref, i gyflwyno tysteb i'r Parch. Peter Ellis o'r lle hwnw. Llywyddwyd gan y Parch. J. Jones, Rhiwabon; a chafwyd anerchiadau priodol gan Meistri J. Jones, Edward Morris, ac Edw. Edwards, Penybryn—Evan Pugh, Cefn—J. Thomas, Tainant—D. Roberts, H. Davies, a R. Cooper, Garth—a H. Pickering, Penycae; ac yna daeth Mrs. Jones, gweddw y diweddar Barch. David Jones, Penycae, ymlaen, i gyflwyno y rhodd o aur ac arian mewn pwrs hardd i Mr. Ellis, yr hwn ynglŷn â datgan ei ddiolchgarwch a roes grynodeb o'i hanes hyd yn hyn. Yr oedd efe wedi rhoddi ei hun i'r Arglwydd a'i bobl yn y Tainant, gerllaw Rhosllanerchrugog, yn nechreuad yr achos yno. Wedi iddo fyned i weithio i Groesoswallt, dewiswyd ef yn flaenor yn yr eglwys yno. Aeth wedi hyny i Bilston, lle y bu efe gydag eraill yn offerynol i gasglu y Cymry i addoli yr Arglwydd, ac i adeiladu yno gapel. Yno gwasgwyd arno i ddechre pregethu, yr hyn a fu yn y flwyddyn 1838. Oddiyno dychwelodd i'r Tainant; ac er ys ugain mlynedd yn ol, symudodd i fyw i dŷ capel Penybryn. Mae efe yn awr yn 70 mlwydd oed, ac yn dal yn gryf a heinyf. Er nad yw y brawd hwn wedi cyrhaedd yr hyn a elwir yn boblogrwydd yn y weinidogaeth, nid oes neb yn uwch ac anrhydeddusach yn nghyfrifiad ei holl gydnabod a'i gymydogion. Edrychir arno fel tad tyner gan ei eglwys; ac y mae ei gymeriad difrycheulyd, ei amynedd a'i addfwynder, ei synwyr cryf, a'i grefyddoldeb dysglaer, yn peri iddo fyned yn uwchuwch yn eu syniad.

# Bywgraffiaeth.

DIWEDDAR BARCH. WILLIAM JONES, ABERTAWE.

*Gan y Parch.* J. E. DAVIES, M.A., *Llanelli.*

GANWYD William Jones ar y 1af o Fai, 1808, mewn ffermdŷ o'r enw Derwenfach, gerllaw Llangadog, yn nyffryn Tywi, Sir Gaerfyrddin. Ymddengys fod ei dadau a'i deidiau wedi bod yn byw yn y Dderwenfach; ac yr oedd rhai o honynt yn dal cysylltiad âg Eglwys Loegr. Yr oedd perthynas hefyd rhwng ei dadcu â'r Archddiacon Beynon o Landeilo; ac o herwydd y cysylltiad hwn cafodd ei dad gymhelliad cryf i fyned i'r offeiriadaeth; ond gwrthododd ei rieni ganiatâu hyny iddo. Yr oedd mam gwrthddrych ein hysgrif yn ferch i un o hen flaenoriaid y Methodistiaid yn Llangadog o'r enw John Williams, Cyfylchi. Yr oedd hi yn grefyddol o'i mebyd; ond nid oedd ei dad yn grefyddol pan yn ieuanc, eithr yn foneddigaidd a gwir ddichlynaidd ymhob ystyr arall. Ond cafodd yntau grefydd amlwg cyn ei farw.

Gwelir fod rhieni Mr. Jones yn rhoddi gwerth mawr ar addysg; oblegid efe a gafodd ei ddwyn i fyny yn yr ysgol ganddynt; a chafodd lawer gwell manteision nag yr oedd plant ffermwyr yn gyffredin yn ei gael yn y dyddiau hyny. Cafodd ei barotoi i fod yn *excise-officer*; ond cyn ei fod wedi llawn orphen ei ragbarotöad, bu farw un boneddwr oedd yn teimlo dyddordeb ynddo; a chan mai trwy ddylanwad y boneddwr hwnw y gobeithiai gyrhaedd ei amcan, gorfu arno, wedi ei farw ef, roi i fyny bob meddwl am y swydd grybwylledig. Efe a aeth mewn canlyniad i gadw ysgol ddyddiol yn Llanddeusant, rhyw bedair milldir o Langadog; a chlywsom rai a'i hadwaenai ar y pryd yn dyweyd ei fod wedi ennill iddo ei hun gymeradwyaeth yn y safle hono.

Yn ystod ei arosiad yn Llanddeusant yr ymunodd â chrefydd. Y mae yr hanes hwn genym yn ei eiriau ef ei hunan:—"Daethum i, William Jones, at grefydd yn Llanddeusant, ar yr 20fed o Ebrill, 1828, yn amser y diwygiad pan yn cadw ysgol yn y lle uchod." Oddiwrth hyn gwelwn ei fod yn ugain oed yn dyfod i broffesu crefydd. Symudodd yn fuan ar ol hyn i'r Hendre i gadw ysgol; ac yno y dechreuodd bregethu. A ganlyn ydynt ei eiriau ef ei hun: "Dechreuais bregethu yn yr Hendre pan yn cadw ysgol yno, Mawrth, 1832; y bregeth gyntaf ar nos Sabboth yn nhŷ William Hopkin, Gelliberfedd, gerllaw yr Hendre, oddiwrth y geiriau, 'Israel, os dychweli, dychwel ataf fi, medd yr Arglwydd.' Yr ail destun, 'A hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef ein ffydd ni.' Yn yr un tŷ y dechreuodd y Parch. B. D. Thomas, Llandeilo, bregethu oddeutu dwy flynedd ar fy ol." Wedi iddo ddechre pregethu, rhoddodd yr ysgol i fyny, ac aeth i'r ysgol ei hun am ryw amser er mwyn ymgymhwyso yn well i waith y weinidogaeth; a bu yn aros am ryw yspaid am y tymmor hwn o'i oes yn Llanelli.

Mehefin 24ain, 1842, ymbriododd â Miss Esther Williams, merch i un o hen flaenoriaid duwiol Llanfynydd, a'r hon a fu yn ymgeledd gymhwys iddo drwy ei oes. Buont fyw am y ddwy flynedd gyntaf o'u bywyd priodasol yn Llanfynydd. Yn 1844 symudasant i Bont-yr-ynys-wen; a thrigasant yno 15 mlynedd. Gwelwyd hwy drachefn yn 1858 yn dechre pabellu yn Cwmaman, lle y treuliasant y 14 mlynedd nesaf o'u hoes. Wedi hyn cawsant arosfa fer yn Mhontarddulais, ac oddiyno aethant i Abertawe, lle y buont yn cartrefu yn ddedwydd nes i angeu symud ymaith y penteulu. Bu iddynt chwech o blant, o ba rai y mae pump yn fyw, ac yn dal safleoedd pwysig mewn masnach a chrefydd. Bu Morgan, yr ieuengaf, farw pan yn 17eg oed, yr hyn a fu yn archoll drom i'r teulu, ond yn ennill iddo ef.

Oddiwrth yr adroddiad uchod, fe welir fod ein brawd a'i deulu wedi symud llawer o fan i fan; ond dyna oedd yn rhyfedd,—fod pob symudiad yn faich iddo ef, ac yn faich i'r gymydogaeth o ba un y symudai. Yr oedd y bobl yn ei garu i'r fath raddau nes y teimlent fel pe buasai hanner y gymydogaeth yn symud pan y symudai efe.

Fel tad a phriod yr oedd yn un o'r rhai mwyaf tyner ei ysbryd. Yr oedd iddo ufudd-dod a pharch yn ei deulu, a hyny heb iddo arfer unrhyw awdurdod ond awdurdod esiampl; ac y mae dylanwad yr esiampl hono yn amlwg ar ei deulu hyd heddyw.

Mewn cysylltiad â masnach yr oedd yn un hynod fanwl. Ni dderbyniai ac ni wariai geiniog heb wneyd cyfrif o honi. Byddai yn wastad yn tynu cynlluniau hyd yn nôd gyda'r pethau lleiaf; ac nid yn unig hyny, ond gweithiai ei gynlluniau allan bob amser gyda'r manylwch mwyaf. Nid oedd efe byth yn anturiaethus gyda phethau naturiol, ond byddai yn hynod fanwl yn ei gylch ei hun. Gadawai yr holl ofalon teuluaidd yn hollol at ddoethineb ei briod. A rhwng ei fod ef yn ofalus oddicartref, a hithau yn ofalus gartref, buont yn alluog i gadw drws agored i weinidogion teithiol o Dde a Gogledd drwy holl gyfnod eu bywyd. A sicr yw na fuasai'r cyfryw byth yn teimlo yn fwy cartrefol na phan o dan gronglwyd William Jones.

Fel dyn yr oedd yn dangnefeddwr a gwneuthurwr heddwch. Credwn na ragorai neb arno yn yr ystyr hwn. Yr oedd yn un o feibion tangnefedd, yn wastad yn cael ei foddhâu, ac mor ddiniwed â'r oen bach. Dywedai rhywun am dano ei fod yn "dalp o ddiniweidrwydd."

Fel pregethwr a gweinidog, yr oedd yn llafurus a ffyddlawn yn ei gylch. Gwir nad ellid ei ystyried yn bregethwr mawr, ond yr oedd yn bregethwr da a defnyddiol. Ac os nad oedd yn fawr, cafodd er hyny rai odfaon nerthol iawn, a chafodd llawer eu dychwelyd at grefydd drwy ei weinidogaeth. Pregethai ar ryw Sabboth yn y flwyddyn 1849 yn Nghwmaman, Sir Gaerfyrddin, gyda nerth ac arddeliad mawr; a daeth lliaws i'r eglwys mewn canlyniad i'w bregethau y Sabboth

hwnw. Y mae llawer o'r cyfryw wedi meirw, gan dystio eu bod wedi "cael gafael ar wir grefydd." Odfa ryfedd arall oedd yr hon a gafodd yn Llansamlet pan ar ei ffordd i Gymdeithasfa Dowlais. Pregethodd y tro hwnw oddiwrth y geiriau, "Canys efe a orchymynodd i ni bregethu i'r bobl." Yr oedd yno y fath foliannu nes y methai y rhai ieuainc a deall beth oedd yn bod, a daeth 17 at grefydd yn y canlyniad. Nid yw yr engreifftiau hyn ond rhai allan o lawer o odfäon pwysig a gafodd yn ystod ei oes. Yr oedd hefyd fel gweinidog yn Sir Gaerfyrddin yn hynod weithgar a llafurus. Bu yn Drysorydd Cronfa Gweinidogion a Thrysorydd Cronfa Trefecca am flynyddoedd lawer yn y Cyfarfod Misol. Ei lafurus gariad ef yn benaf a fu yn foddion i sefydlu yr achos yn Carmel, Llanfynydd, lle y mae erbyn hyn eglwys flodeuog; a chofgolofn i'w lafur ef yw eglwys y Methodistiaid yn Brynaman. Bu efe, o gariad at yr achos, yn teithio am flynyddau i'r naill a'r llall o'r lleoedd hyn i gynnal cyfarfodydd eglwysig.

Yr oedd ei fanylwch gyda phethau naturiol i'w ganfod hefyd gyda gwaith y weinidogaeth. Rhoddai i lawr enwau y rhai a fedyddid ganddo, a'r rhai a gleddid ganddo, gyda'r amser a'r cyfan wedi eu nodi yn fanwl ganddo yn ei ddyddlyfr.

Fel cristion, yr oedd tu hwnt i bob ammheuaeth yn ddyn duwiol, ac fel Enoch yn rhodio gyda Duw. Nis gallasai feddwl drwg am neb; ac os oedd bai arno, y mae yn gynnwysedig yn ngeiriau Islwyn am Thomas Williams, Myddfai.

"Rhy ddiniwed oedd ei fai."

A sicr yw mai crefydd oedd wedi ei wneyd felly. Y Bibl oedd llyfr mawr ei fywyd; darllenai lawer arno, a gwnai yn fynych nodiadau ar ranau neillduol o hono. Yr oedd hefyd yn weddïwr mawr. Yr oedd cael William Jones i ddechre yr odfa ddeg yn Nghwrdd Misol Sir Gaerfyrddin yn gymaint o ammheuthyn a dim i'r hwn a ddeuai ar dro i'r Sir.

Yr oedd yn amlwg er ys tua blwyddyn cyn ei ymadawiad ei fod yn addfedu o ran ei ysbryd i well lle na'r ddaear hon i fyw. Yn mis Ionawr 1881, yn eglwys y Trinity, Abertawe, o'r hon oedd yn aelod, ac yn yr hon yr oedd iddo barch mawr gan bawb yn ddiwahaniaeth, adroddodd ei brofiad; ac yr oedd hwnw mor addfed fel y tybiai pawb oedd yn bresennol ei fod ar gael ei symud i gartref perffeithrwydd. Cafodd ei gaethiwo i'w dŷ o fis Mawrth hyd fis Mai, pryd yr aeth i Gefnberrach am Sabboth, ac i Lanedi i'r Cwrdd Misol. Wrth ddechre'r cyfarfod yno, rhoddodd allan y pennill.

"Pryd câf wel'd y tir dymunol, &c."

nes tynu dagrau o lygaid pawb oedd yn bresennol. Wedi dychwelyd gartref gwaethygodd ei iechyd; eithr addfedai ei brofiad yn barhâus. Gwellhâodd ychydig yn mis Gorphenaf, a phregethodd ar y 10fed o'r mis hwnw yn Mhontardulais. A dyna lle y tawodd ei lais melus yn y pulpud. Gwanhâodd yn gyflym ar ol hyn; ond dyoddefai ei gystudd yn berffaith dawel. Dywedai wrth ei briod a'i ferch, yn ystod ei afiechyd, am iddynt beidio galaru ar ei ol, ei fod yn barod i farw ac yn hollol wrth ei fodd. Pan ofynodd brawd yn y weinidogaeth iddo sut y teimlai, dywedai, "*Noble!* ond yr wyf yn myn'd i farw." Gofynwyd iddo eilwaith pa fodd yr oedd pethau yn edrych ymlaen; ac atebai yntau, "Y mae pob peth yn dda ymlaen, herwydd yr hyn sydd wedi cael ei wneyd yn ol;" a phan ofynwyd beth oedd hyny, dywedai,—"Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi." Yn yr ysbryd tawel a gorfoleddus hwn y bu farw ar y 15fed o Hydref, 1881, ar ol bod yn pregethu 50 mlynedd, ac yn weinidog am 81; a chladdwyd ef â chladdedigaeth tywysog ar yr 20fed o'r un mis. Pregethwyd ei bregeth angladdol i gynnulleidfa liosog yn Nghapel y Trinity, nos Sabboth y 29ain, gan y Parch. D. Saunders, oddiwrth y geiriau, "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd â'i feddylfryd arnat ti." Llefarai Mr. Saunders yn y modd mwyaf parchus am ei frawd ymadawedig, gan fanylu ar ei ragoriaethau; ac ni thybiai neb fod gormodiaeth wedi cael ei arfer.

Heddwch fyddo i lwch y sant hwn, a Duw yn amddiffyn i'w deulu ar ei ol.

---

## MR. DAVID PARRY, TAI NEWYDDION.

*Gan y Parch.* THOMAS ROBERTS, *Jerusalem, Bethesda.*

WRTH goffâu marwolaeth David Parry, yr ydys yn coffa colled am un o'r brodyr anwylaf ac un o'r blaenoriaid ffyddlonaf. Bu farw yn ei gartref, y Tai Newyddion, Maes Caradog, yn mhlwyf Llandegai, yn Arfon, dydd Sabboth, yr 21ain o Ragfyr, 1879. Y dydd Gwener canlynol, Rhagfyr 26ain, ymgynullodd i'w gladdu dyrfa fawr o bobl o'r holl gymydogaethau oddiamgylch; ac yr oedd i'w weled a'i deimlo y dydd hwnw fel yr oedd David Parry, trwy fywyd dystaw, diargyhoedd, a defnyddiol, wedi peri tuag ato ymsyniad o barch dwfn a diledrith iawn yn meddyliau pawb a'i hadwaenent.

Y Tai Newyddion, hen gartref David Parry, a saif wrth droed y mynydd, a char glân yr afon Ogwen, yn Nant Ffrancon, yr hon, fel y gwyddys, sydd nant wyllt, fynyddig, a rhamantus, yn ymestyn o gyffiniau Chwarel Cae Braich y Cafn hyd derfynau Llynoedd Ogwen ac Idwal. Yn y fan y bu farw hefyd y ganwyd David Parry, ac yno y trigodd ar hyd ei oes. Ganesid ef yn y flwyddyn 1810; ac felly, pan fu farw, yr oedd yn 69 oed. Bu yn aelod eglwysig ddengain mlynedd, ac yn flaenor am tuag un mlynedd ar bymtheg ar hugain. Enwau ei rieni oedd Henry a Mary Griffith. Yr oeddynt hwythau yn aelodau gyda y Methodistiaid, a Mary Griffith, yn enwedig, yn hynod am ei duwiolfrydedd a'i hysbryd gwresog yn gwasanaethu yr Arglwydd. Y hi oedd y gyntaf a ymunodd â'r eglwys ar ol adeiladu capel y Carneddi, ac yr oedd hi yn cael ei

lesbyn i mewn yr un noson ag y rhoddai y trawdoliaeth hefyd dderbyniad i Morris Jones, "yr hen brophwyd," yn aelod i'r Carneddi. Dryfod yr oedd ef, fel y mae yn hysbys, y noson hono at y Methodistiaid oddiwrth yr Annibynwyr. Ar ol ymuno â chrefydd, harddodd Mary Griffith athrawiaeth ei Harglwydd, a phrofodd fesur helaeth o orfoledd yr iachawdwriaeth; ac y mae eto yn aros llawer â chof byw iawn ganddynt am yr hwyliau nefol i ba rai, ar adegau, y dyrchefid ysbryd yr hen chwaer hon.

Yn nghymydogaeth y Tai Newyddion yr oedd Ysgol Sabbothol yn cael ei chynnal yn foreu iawn. Y mae yn ammheus genym a gynnelid hi lawer boreuach yn unman yn y wlad yn y pryd hyn. Gwir nad oedd yno gapel. Yn y gwahanol dai y byddai yr amryw ddosbarthiadau; ac i dŷ rhieni David Parry y deuent i ddechreu a diweddu yr ysgol. Pan oedd ef yn fachgen, un o athrawon y plant yno oedd Gwilym Peris. Thomas Jones, y Brynllys, hefyd a fynych gyrchodd i'r ysgol hono; a llawer awel nerthol a ddisgynodd ar y rhai a fyddent wedi dyfod ynghyd i'r Tai Newyddion ar awr yr egwyddori yn niwedd yr ysgol. Coffeir am un amgylchiad felly pan oedd Mary Griffith, mam David Parry, yn wael. Methasai fyned i'r Carneddi bore y Sabboth hwnw i'r odfa, ac y mae hyny ei hunan yn ddigon i brofi mai nid ysgafn oedd ei gwaeledd; oblegid byddai raid wrth rywbeth pur ddwys i luddias Mary Griffith i'r addoliad. Modd bynag, pan oedd Thomas Jones yn egwyddori yr ysgol yn ei thŷ y prydnawn Sabboth hwnw, daeth rhyw oleuni a grym gyda'r holi a'r ateb am bethau yr iachawdwriaeth; ac yn y man yr oedd Mary Griffith, er ei selni, yn llamu gan orfoledd dan uched a chan belled ag y goddefai y *ceilog* a'r dodrefn iddi wneuthur; ac erbyn y diwedd, ac i bawb fyned i'w fan, yn lle bod yn waelach, yr oedd yr hen chwaer wedi gwbl wella.

Yn niwedd y flwyddyn 1839, profodd David Parry argraffiadau crefyddol dwfn a dwys iawn. Aethai yn ddirwestwr tua thair blynedd yn flaenorol, ac yr oedd yn lled amlwg fod pethau crefydd yn ystod y tair blynedd hyny yn cael cryn le yn ei ystyriaeth. Meddyliai ac ymddyddanai lawer yn eu cylch; a'r rhai agosaf ato a ddeallent yn eglur nas caffai lonydd gan feddyliau am bethau tragywyddol. Ond Sabboth y 15fed o Ragfyr, yn y flwyddyn a nodwyd, a brofodd yn ddydd mawr yn ei oes ef. Pregethai yn y Carneddi y diweddar Barch. David Jones, o Gaernarfon y pryd hwnw. Testun Mr. Jones oedd y geiriau yn mhrophwydoliaeth Daniel, "Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant, er gwrthryfelu o honom i'w erbyn." Y Sabboth hwnw, trwy weinidogaeth Mr. Jones, Ysbryd yr Arglwydd a barodd i'r gwirionedd afael yn nghalon David Parry gyda grym mawr. Gwelodd, a dychrynodd trwy weled, mai gwrthryfelwr ydoedd yntau. Profodd nerthoedd y byd a ddaw mewn dwysder anghyffredin. Aeth adref wedi ei glwyfo, a than ei glwyfau y bu yn hir. Y Sabboth canlynol gwelwyd yn nghapel y Carneddi olygfa gyffrous iawn. Aeth David Parry i'r capel â'r teimlad o'i golledigaeth yn gwasgu yn drwm arno; a Morris Jones a ddarllenai ac a weddïai o flaen y pregethwr oedd yn y daith. Yn ystod y weddi dechreuodd David Parry waeddi am ei fywyd. Ei le yn y capel oedd un o'r seti ar ffrynt y *gallery*. Safai i fyny yn y sêt, âg arno holl agweddiad dyn caled iawn arno. Ymhen yspaid aeth ei fam, Mary Griffith, ato gyda'r bwriad o dawelu, ac, os gallai, fe allai ddystewi gronyn arno. Ond yn lle ei dawelu ef, taniwyd ysbryd yr hen chwaer ei hunan. Aeth hithau hefyd i orfoleddu. A byw iawn hyd heddyw yn nghof y rhai oll a fuont yn dystion o honi yw yr olygfa ar ffrynt *gallery* capel y Carneddi y bore Sabboth hwnw, pan oedd y fam a'r llanc eu dau yn cyd-ddyrchafu eu llef—efe yn gwaeddi am drugaredd, a hithau yn moliannu yr Arglwydd, yr Hwn oedd yn achub ei phlant.

Er i David Parry ymuno â'r eglwys yn fuan, bu yn hir yn ngafael dwysbigiadau llymion iawn. Cafodd argyhoeddiad dwfn, yr hwn a osododd ei ôl a'i argraff arno ar hyd ei fywyd. Tybygem fod ei deimladau am fisoedd y pryd hyny yn ingol braidd. Addefai y bu yn dymuno argyhoeddiad llym, a'r hyn a ddymunodd, efe a'i cafodd; ond eto addefai hefyd, pe gwybuasai beth oedd yr hyn a ddymunai, ei fod yn bur ammheus a fuasai yn ei chwennych byth, ac nid anturiai gynghori neb arall i goledd dymuniad o'r fath. Ni bu erioed yn byw yn amlwg annuwiol. Er yr yfai cyn dyfod dirwest, eto ni feddwai. Dywedai y buasai ei falchder yn ei gadw rhag hyny. Yr oedd y teimlad o hunan-barch yn lled gryf ynddo. Yn nyddiau ei oferedd, yr ydym yn tybied y deuai hyny i'r golwg yn un peth mewn bôd ei drwsiad yn cryf ogwydd at wychder. Fe allai mai argoel o'r anian mewn ffordd dda oedd y glendid a'r gweddusrwydd a'i dynodai bob amser ar ol hyny. Modd bynag, ni dybygem y bu i'r ymsyniad o hunan-barch oedd ynddo ran fel cymhelliad i'w gadw rhag amlygrwydd mewn drwgfuchedd. Ond er nas rhedasai i unrhyw ormod rhysedd, eto cafodd y fath olwg ar ei berygl fel pechadur fel nas gallai byth wed'yn feddwl am dani heb grynu. Wedi iddo am fisoedd gerdded yn chwerwder ei enaid, o'r diwedd torodd gwawr arno; ac wedi iddi dori, ni thywyllodd byth drachefn. Dwy ysgrythyr yn benodol a ddyg ymwared iddo. Yr ydoedd mewn rhyw fan mewn ymdrech gyda Duw. pan y llewyrchodd i'w feddwl gyda goleuni mawr yn gyntaf y gair hwnw, "Y gwaed hwn a wna gymmod dros yr enaid;" a thrachefn, gyda chyffelyb oleuni, yr adnod hono, "A gwaed Iesu Grist, ei Fab ef, sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod." Yn y naill adnod gwelai ei gyfiawnhâd, ac yn y llall ei sancteiddhâd. Felly yr ymddangosai yr adnodau iddo ef y pryd hwnw, ac yn y goleuni hwnw yr ymddangosent iddo byth. Cafodd ei fywyd yn y ddwy ysgrythyr yma; ac ar ol y gollyngdod a ddygwyd iddo y pryd hwnw, nid ammheuodd nemawr, os, yn wir, ddim, wedi hyny am ei dderbyniad gyda Duw.

Treuliodd fywyd tawel, defnyddiol. Gyda Duw, fe ellir yn ddidwyll ddyweyd, y rhodiodd David Parry am y deugain mlynedd olaf o'i oes. Perthynai i ddosbarth o ddynion ag y mae crefydd yn Nghymru, a chorff y Methodistiaid Calfinaidd, yn rhwymedig iawn iddynt. Bendithiwyd y Cyfundeb â llawer o flaenoriaid a fuont ddynion duwiolfrydig, tawel, heb nemawr o wybodaeth am danynt y tu hwnt i gymydogaethau eu preswylfod, ond eto a wasanaethasant eu cenedlaeth gyda diwydrwydd dyfal a chydag effeithiolrwydd mawr. Felly y gwnaeth David Parry. Yn y flwyddyn 1843 dewiswyd ef yn flaenor. Erbyn hyn yr oedd capel wedi ei adeiladu heb fod mor bell a'r Carneddi o'i gartref. Saif y capel hwnw yn agos i amaethdŷ a threflan Ty'nymaes, yn Nant Ffrancon, ac ar fin y brif-ffordd (gynt) o Gaergybi i Lundain. Capel bychan yw capel Bethel, Ty'nymaes, ac eglwys heb fod yn fawr sydd ynddo; ac o amser adeiladu y capel a phlanu yr eglwys yr oedd David Parry yn flaenor. Yr ydoedd iddo hefyd gydflaenor, John Edwards wrth ei enw—brawd anwyl, a christion o ddwysder a difrifwch mawr. Mae coffadwriaeth John Edwards yn fendigedig, a'r hiraeth am dano eto heb ddarfod yn yr eglwys a wasanaethodd, er ei fod wedi marw er ys llawer o flynyddoedd bellach. Yr oedd ymlyniad y ddau frawd a chyfaill hyn wrth eu gilydd yn dŷn iawn: ac ar lawer awr o wangalondid, buont yn gyfnerthiad a chalondid y naill i'r llall. Nid amseroedd hyfryd a fu y cwbl o hanes eglwys Bethel yn ystod swyddogaeth David Parry. Gwelodd adegau lled dymhestlog, a chwythodd ar yr eglwys rai awelon blinion ddigon. Diau fod i eglwys heb fod yn lliosog ryw fanteision amlwg a gwerthfawr iawn ragor eglwys a fo mwy; ond er hyny, mae yn debyg mai un o'i hanfanteision yw y cyfle a ddyry i ddynion anhydrin ac ymrysongar i beri terfysg, ac, os gallant, lawer o angharíad. Profodd eglwys Bethel ryw ran o dywydd felly; ac yn amser ei phrofiad tanllyd o'r achos hwnw, bu dda iawn iddi oblegid ysbryd tangnefeddus, tirion, a dyoddefgar David Parry. Yr ydym yn meddwl mai un adduned a wnaeth efe yn nechreuad ei yrfa grefyddol oedd hono—nid yn unig na roddai dramgwydd i neb hyd y medrai, ond hefyd nas cymerai dramgwydd chwaith. Bu iddo wneuthur yr adduned yna; cafodd hefyd nerth i'w chadw; ac nid ychydig oedd raid i'r nerth hwnw fod, oblegid bu y saethyddion yn chwerw iawn wrtho. Ond eto, er aml brofedigaeth lem i ymchwerwi a thalu sen am sen, galluogwyd ef bob amser yn ei amynedd i feddiannu ei enaid. Goddefodd lawer iawn yn ddiachos heb gyffroi dim. Tangnefeddwr ydoedd; ac wedi iddo hirymymaros, cafodd fyw i weled amser heddychlawn drachefn.

Trwm iawn yw yr hiraeth ar ei ol; a hiraeth a bery ydyw yr hiraeth hwnw tra y bydd byw y genedlaeth a'i hadwaenai ef. Gwaith anhawdd oedd ceisio dechreu ymgynnefino â'r chwithdod o weled seiat yn Ty'nymaes â David Parry heb fod yn bresennol. Byddai ef yno yn wastad, ac nis teimlid ei bod yn seiat hebddo ef. Cyn i'w iechyd ddechreu gwaelu, y mae yn ammheus a fu yn absennol o'r cyfarfod eglwysig fwy na theirgwaith o fewn un ar bymtheg ar hugain agos o flynyddoedd. Pa un bynag ai adeg cynauaf gwair, ai ynte rhyw amser o brysurdeb arall a fyddai, gadawai efe bobpeth i fyned i'r cyfarfod eglwysig, a'r un modd am bob cyfarfod crefyddol. Ac nid o ran presennoldeb yn y cyfarfodydd yn unig y ceid David Parry yn ffyddlawn, ond ymhob gwir ofal am waith yr Arglwydd. Dangosodd yn wastad nas anghofiodd ei gyfammod a wnaethai â Duw yn amser ei ymgysegriad cyntaf i'r Arglwydd Iesu. Y pryd hwnw addunodd yn ddifrifol, am ei achos a'i iachawdwriaeth ei hunan, ei fod yn eu rhoddi yn hollol i ofal a chadwraeth ei Arglwydd a'i Brynwr byth; ac am achos Iesu Grist yn y byd yma, ei fod yntau yn cymeryd hwnw i'w wasanaethu, yn ol ei allu, fel amcan penaf ei fywyd hyd ei fedd.

Cafodd gystudd caled am rai misoedd cyn ei farw. Peth dyeithr, dyeithr iawn, iddo oedd afiechyd o unrhyw fath. Cawsai ei fendithio â chyfansoddiad cadarn, caled; a bu yn fwy ffodus, yn gystal ag yn fwy ei gallineb, na llaweroedd a gawsant yr un fendith, trwy beidio gwneyd cam mawr â'r corff cryf a gawsai. Gweithiwr gwych, caled, a diwyd ydoedd; eto ymhob peth yr oedd ei arferion yn rheolaidd, pwyllus, a phrydlawn. Nis gwybu ond y nesaf peth i ddim am eisiau physygwriaeth meddyg drwy ystod wyth mlynedd a thriugain. Dywedasom ei fod yn chwith ei weled heb fod yn y capel. Yn gyffelyb, mewn ffordd arall, peth dyeithr i'w gyfeillion oedd clywed fod David Parry yn glaf. Pan ddaeth cystudd, modd bynag, yr oedd yn drwm a phoenus. Ond David Parry a'i dyoddefodd yn amyneddus a chwbl ymostyngar i ewyllys ei Arglwydd. O'i ran ei hun, nid oedd yn gofalu dim pa un a oedd ai nad oedd y cystudd cyntaf hwnw hefyd y diweddaf iddo. Er mwyn ei deulu—i ba rai y buasai yn dad a phriod tyner, ffyddlawn, a gofalus iawn—buasai yn chwennych cael byw, os dyna fyddai ewyllys Duw. Ond o'i ran ei hun, yr oedd yn beth difater ganddo. Un peth oedd ag y gobeithiai nas rhoddid iddo, sef gwella digon i fyw heb wella digon i weithio. Heb fyw i fod yn ddefnyddiol, gwell ganddo fuasai peidio byw o gwbl. Ar un achlysur yr oedd gydag ef yn ei ystafell ei frawd, Robert Parry, yr hwn a sylwodd wrtho y gallai, ysgatfydd, fod yn ngweddill iddo eto rai blynyddoedd o einioes, ac hefyd iechyd gweddol—o leiaf, iechyd hen ŵr. Ateb David Parry i hyn ydoedd, os na chaffai fyw i fedru gweithio, mai gwell ganddo fyddai myned ymaith. Yr oedd gwaith yn rhywbeth cysegredig iawn yn ei olwg ef; ac o bob gwaith, gwaith ei Arglwydd a ymddangosai iddo yn rhoddi y gwerth mwyaf ar fywyd. Marw, pa fodd bynag, a gafodd, a marw mewn tangnefedd. Gwyddai er ys talm i bwy y credasai; a'r rhai a'i hadwaenent oreu a gredant sicraf ddarfod dywedyd wrtho, "Da, was da a ffyddlawn."

---

# Amrywiaethau.

### HEN CYFRIFOLDEB.

Mewn Cyfarfod Dirwestol ynglŷn â'r Undeb Cynnulleidfaol yn Sheffield, y Parch. G. M. Murphy a ddywedai,—"Er ys rhai dyddiau yn ol, yr oedd llabwst teneu tàl, oddeutu chwe' troedfedd a dwy fodfedd, yn cerdded yn ochr camlas *(canal)* o'r tu allan i Luudain. Yr oedd bachgen oddeutu pump neu chwech oed yn chwareu ar làn y gamlas, ac efe a syrthiodd i'r dwfr, yn union o flaen wyneb y dyn hwn. Efe a neidiodd o'r llwybr dros y gwrŷch, ac a redodd ar draws dau faes, ac a waeddodd ar i rai oedd yn aredig draw ddyfod i godi'r bachgen o'r dwfr. Erbyn i'r dynion ac yntau ddyfod at y gamlas, yr oedd y bachgen bach truan yn mreichiau yr Iesu—yn ddiogel, fel yr wyf yn hyderu. Wrth gwrs, cynnaliwyd trengholiad. Gofynodd y corffynad i'r dyn hwn, 'Paham na buasech chwi yn tynu'r bachgen allan o'r dwfr? Yr oedd efe o fewn hŷd braich i chwi, ac nid oedd y dwfr yn unlle yno i chwi yn rhy ddwfn.' 'O,' oedd ei ateb, 'yr oedd fy nillad goreu am danaf.' Y corffynad a ddywedodd, 'Nis gallaf eich traddodi i'ch profi am lofruddiad gwirfoddol; nid ydych yn gyfreithiol euog o'r weithred hono; ond yn yr ystyr foesol ac yn ngolwg Duw, chwi yw llofrudd y bachgen.' Yr oedd efe yn ei le. Mae yma rai o honoch chwi â'ch dillad goreu am danoch. Y mae gwŷr a gwragedd a phlant yn cael eu dinystrio yn eich tref hon gan ddiod gadarn, a chwithau yn neidio dros y gwrŷch i gael rhywun arall i wneyd y gwaith. Ond y mae Duw yn eich dal chwi yn gyfrifol. Yr ydych i wneyd eich cyfran chwi o'r gwaith."

### DAEAR A NEFOEDD.

Gweinidog eglwys dra ffasiynol oedd unwaith yn pregethu am y nefoedd, gan ei darlunio yn lle hardd-deg iawn, y seintiau ynddi yn rhodio yn nghanol llwyni o goed paradwysaidd, dan dywyniad heulwen hâf, yn sŵn peroriaeth y ffrwd redegog, ac yn sylldremu ar brydferthwch y meusydd *amaranthaidd*. "Ac yno hefyd," ebe efe, "ni a fyddwn yn adwaen ein gilydd; ni bydd neb yn ddyeithr i'w gilydd yn y Jerusalem newydd, ond oll yn gyfeillion twymngalon a rhyddymddyddanol, mewn digrifwch bythbarhâol." "Pregeth *beautiful!*" uchel-ddywedai Mr. Richardson, Plas-y-fren, ar ben y drws wrth fyned allan. "O y fath bregeth *splendid* a gawsom genych!" meddai yr hen Miss Daniel o'r Brynhyfryd, gan ysgwyd llaw â'r gweinidog yn nghwrt y capel. Ar y fynyd hono, dyma Siôn Rhobert, gweithiwr tlawd, yn dyfod ymlaen ac yn cyfarch y pregethwr, "Mr. ——, yr oedd yn dda genyf glywed y byddwn yn adwaen ein gilydd yn y nefoedd." "Ië, Siôn," medd y gweinidog, "un o gysuron rhagoraf Cristionogaeth yw y pwnc hwn." "Wel, yn wir," atebai Siôn, "mae yn dda iawn genyf glywed hyn. Ond fe fydd yn gyfnewid mawr iawn. Dyma fi, er fy mod er ys blynyddoedd gyda chwi, prin iawn y mae Mr. Richardson yna, na Miss Daniel yma, yn fy adwaen eto; rhyw hanner amnaid pen yw'r cwbl a gâf oddiwrthynt; ond, os cawn ni fyned yno, dyna ni i gyd yn galon-gynhes, ac yn ymddyddan yn rhydd â'n gilydd. Bydd, bydd, yn newid hynod yno."

### GWYLIADWRIAETH.

Am y fwrdeisdref lle y cefais fy magu, medd un ysgrifenydd, cyfrifid ei therfynau ar un ochr yn cyrhaedd tua thair milldir oddiwrthi; ac yno yr oedd colofn wedi ei gosod i fyny i ddangos y terfyn. Rywbryd pan yr oeddwn i yn fachgen, yr oedd ysgrifwys *(writ)* i gael ei gwasanaethu ar ryw ŵr am ddyled; ond y dyledwr, wrth weled y beili, a redodd i ffordd cån gynted ag y medrai tua'r golofn. Methodd y beili, er iddo yntau redeg ei oreu, oddiweddyd y dyledwr, yr hwn, wedi gallu myned tu hwnt i ffiniau y fwrdeisdref, a drôdd yn hyf, ac a herfeiddiodd y beili. Gwyddai y swyddog nad oedd ganddo awdurdod i'w ddal ar yr ysmotyn hwnw; ac efe a ddywedodd yn dawel wrth y dyledwr, "Wel, wel, nid oes mo'r help am dani heddyw; aethoch yn drech na mi, a rhaid i mi ildio am fy neges. Ond nid yw eich dyled ddim i mi yn bersonol; ac wrth i mi droi adref, gadewch i ni ymadael yn ffryndiau. Dyma fy llaw i chwi." Y dyledwr yn ddifeddwl a gymerodd y llaw estynedig, pan y darfu i'r beili, gydag egni dewr, ei dynu ymlaen heibio i'r golofn hyd o fewn i'r terfynau; ac yna efe a darawodd ei law arall ar ei ysgwydd, gan ddyweyd, "Dyma chwi yn garcharor genyf!" Llawer un, wedi rhedeg yn dda, a gollodd y gamp trwy anwyliadwriaeth yn y diwedd. Nid oes dim yn fwy peryglus na chymeryd pethau yn ganiatäol. Cymerwn lawer o bwyll rhag bod yn rhy sicr am ein diogelwch.

### COF DRWG.

Hynod mor ddrwg ydyw côf rhai pobl. Fe ellid meddwl fod rhedeg ar eu côf yn rhan o'u crefydd. Ond nid yw eu côf yn rhyw ddrwg iawn nes y deuant i foddion gras. Byddant yno fel pe byddent wedi gadael eu côf adref. Nis gallant gofio dim: testun, pregeth, cynghor, nac addysg. Beth pe byddai côf y bobl hyn mor ddrwg ymhob màn arall? fe ddyrysai pobpeth gyda hwy; anghofient pa le y byddent yn byw; nis gallent gofio pa faint o arian, na pha faint o deulu, na pha faint o unpeth, a fyddai ganddynt. Tybed y gallai côf mor salw gadw hyd yn nôd eu henwau? Nid ar y côf, chware teg iddo, y mae'r bai i gyd. Mae'r drwg yn is i lawr yn y meddwl. Diofalwch ydyw. Arferer y côf i wneyd ei waith yn briodol, ac efe a'i gwna. Gocheler rhoddi gormod o waith iddo ar unwaith. Wrth geisio cofio y cwbl, yn fynych anghofir y cwbl. Gwrandawer y bregeth oll yn fanwl, a chofier rhyw gyfran o honi,—y rhan fwyaf perthynol i ni o'r gwirionedd. Wrth ddarllen pennod, neu wrando ar bennod yn cael ei darllen, arferwn ein hunain i gymeryd meddiant o ryw air fydd ynddi. Mae côf drwg i'w feddyginiaethu wrth ei arfer.—*Robert Ellis, Ysgoldŷ, Arfon—o'i Gofiant.*

### HEN NEGRO CRISTIONOGOL.

Y Parch. J. D. Ellis, Llywydd Bibl-Gymdeithas Gynnorthwyol St. Elizabeth, yn Jamaica, a adrodda: "Daeth hen ŵr ataf y diwrnod o'r blaen gyda chyfran o'i daliad eglwysig oedd yn ddyledus arno. Dywedodd iddo fod yn wael iawn ei iechyd am yr amser y bum i ymaith, ac heb allu dyfod i'r eglwys am lawer o fisoedd. Yr oeddwn yn ei gofio fel aelod ffyddlawn o'r eglwys, ac a ddywedais rai geiriau dyddanol wrtho, tra yr oeddwn yn sylwi ei fod yn cario rhywbeth wedi ei lapio i fyny yn ofalus mewn cadach. Beth oedd hwnw ond Bibl mawr, yr hwn a agorwyd i mi gan yr hen ŵr, gan ddyweyd yn ei ffordd syml, 'Dyma a'm cadwodd i fyny, syr.' Wrth chwilio y Llyfr cysegredig, cefais mai un o'r Biblau Coffadwriaethol ydoedd, â pha rai y cafodd y caethion wedi eu rhyddhâu eu hanrhegu ar ddiwrnod eu rhyddfreiniad, Awst 1, 1838. Tybiais fod hyn yn werth ei gofnodi; ac yr oedd yn llawen genyf gael allan fod bendigedig Lyfr Duw wedi cynnal y cristion oedranus hwn dros gymaint o flynyddoedd, ac iddo ei fwynhâu yn gymhorth neillduol iddo mewn amser o afiechyd a chyfyngder mawr."

### ENNILL ENEIDIAU.

Y nos Sabboth cyntaf o'r mis diweddaf, yr oedd Esgob Manchester, wrth bregethu yn ei eglwys gadeiriol, yn cyfeirio at gyfrif a gafwyd gan Arglwydd Hampton, fod dros ddeng miliwn ar hugain o bunnoedd wedi eu casglu a'u treulio

ystod yr hanner can' mlynedd diweddaf at adeiladu ac adnewyddu eglwysi, perthynol i Eglwys Loegr. Sylwai yr Esgob, tra yr oedd y cyfryw hanes yn dangos fod ysbryd o haelioni mawr yn yr Eglwys, fod y cwestiwn yn codi yn fynych yn ei feddwl ef, Ai nid ydyw yr holl adeiladu a'r addurno hyn ar eglwysi yn effeithio, mewn llawer man o leiaf, i dynu eu meddyliau ymaith oddiwrth yr hyn a ddylai fod yn amcan uchaf yr Eglwys: ennill eneidiau at Grist, a dwyn ymlaen lesiant ysbrydol y bobl? Os felly yr ydoedd, meddai efe, rhaid iddynt deimlo nad oedd yr Eglwys yn gwneyd y gwaith y dylai fod wrtho.

### BEIRNIADAETH.

Wrth ddarllen ysgrifau y creaduriaid dienw sydd yn beirniadu yn haerllug ar bersonau a phethau yn y newyddiaduron wythnosol, byddaf yn cofio ystori Southey am y crachfeirniad arluniol yn dal yn ei law bictiwr bychan o farch a'i farchog, gan fyned yn y modd mwyaf hyawdl ar yr arluniwr, am iddo fod mor ynfyd a di-farn a thynu llun y ceffyl yn ymollwng i ymgreinio. "Esgusodwch fi, syr," ebe perchenog y pictiwr, "chwi sydd heb ddal y darlun yn iawn;" a chan gymeryd y pictiwr i'w law ei hun, a ddywedodd, "Deliwch ef yn ei le fel hyn, a chwi a welwch mai ceffyl yn hardd garlamu ydyw, ac nid yn ymgreinio yn chwithig."—*P. O. M.*

### YR AMEN.

Yr oedd un gweinidog, pan yn galw gyda'i bobl a'i gyfeillion, yn arfer aros yn lled hir ymhob lle y galwai. Un diwrnod, wedi galw gyda gwraig oedd yn un o'i aelodau eglwysig, yr oedd yr hir ymddyddan yn myned yn flinderus gan ei geneth fach; a hi a sibrydodd yn nghlust ei mam, yn ddystaw fel y tybygai hi, ond yn ddigon uchel i'r gweinidog glywed, "A ydi o ddim wedi dweyd a'i Amen gyda fo yma, 'mam?"

### CANOL Y BREGETH.

Yr oedd bachgen bychan o'r enw Arthur wedi bod yn y capel; a'i chwaer a ofynodd iddo, wrth ddychwelyd adref, pa fodd yr oedd yn hoffi y bregeth. "Yn symol," atebai y beirniad ieuanc. "Yr oedd y dechre yn go dda, a'r diwedd yn bur dda; ond yr oedd gormod o ganol yn cael ei roi gan y pregethwr."

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH SHILLONG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. T. JERMAN JONES, DYDDIEDIG SHILLONG, GORPHENAF 12FED, 1888.

Dydd Mawrth, Gorphenaf 3ydd, oedd y diwrnod a benodwyd i ranu y gwobrwyon i blant yr ysgolion dyddiol yma. Yr oedd y plant wedi bod yn hir ddysgwyl am dano, ac o'r diwedd fe ddaeth. Yr oedd y plant a'r athrawon wedi bod wrthi yn brysur yn glanhau ac yn addurno yr ysgoldy â changenau o'r coed, rhedyn, a blodau o bob math a allent ddyfod o hyd iddynt, a darluniau, mapiau, *mottoes*, &c., fel yr oedd yr adeilad erbyn deg o'r gloch bore ddydd Mawrth yn edrych yn hardd iawn. Yr oedd yno ddau neu dri o fyrddau a'r gwobrwyon wedi eu gosod yn rhesi arnynt; llyfrau oeddent agos oll. Ar gyfer y rhai hyn yr oedd gwniadwaith y genethod wedi eu gosod yn rhes ar ol rhes—*plain sewing*, *fancy work*, gwau, &c., &c. Yr oedd y Prif Lywodraethwr a Mrs. *Colonel* MacNeile wedi addaw gwobrwyon i'r genethod a wnient oreu, ac a gadwent eu gwaith yn lân. Am un ar ddeg yr oedd yr holl blant wedi dyfod at eu gilydd, oll yn lân a thaclus, yn llawn bywyd a sirioldeb, a'u llyfrau Hymnau Khasi a Hymnau Sankey yn eu dwylaw. Am hanner dydd daeth nifer o foneddigesau yno i farnu pwy oedd wedi gwnio oreu—Mrs. Dr. Johnson, Mrs. MacNeile, Mrs. Petty, &c. Yr oedd enw pob geneth ar ei gwaith.

Pan oedd yn agos i un o'r gloch, cyrhaeddodd yno nifer o swyddogion y Llywodraeth a'u gwragedd gyda hwynt; ac am un dyma gerbyd Mr. Elliott, Prif Lywodraethwr Talaeth Assam, yr hwn oedd wedi addaw rhanu y gwobrwyon, yn cyrhaedd drws yr ysgoldy. Yna dechreuwyd ar y gwaith. I ddechreu canwyd dwy neu dair o hymnau. Yna rhoddais adroddiad byr o sefyllfa yr ysgoldy a'r ysgol ynddo; fod yr ysgoldy yn awr wedi ei orphen, a'i fod, fel yr oeddent yn gweled, yn adeilad cadarn, cyfleus, a goleu, hollol bwrpasol at yr amcan, ac nad oedd yr un ddimai o ddyled arno; iddo gostio dros £160, ond fod y cyfan wedi eu talu trwy roddion gwirfoddol caredigion addysg a Christionogion yn Shillong, ac o rai rhanau ereill o Assam at India; fod prophwydoliaeth Mr. Elliott y llynedd wedi ei chyflawni i'r llythyren, yr hwn a ddywedodd wrth ranu y gwobrau flwyddyn yn ol, ei fod ef yn ymrwymo dros holl oraf Shillong na byddai dim dyled ar yr adeilad ymhen deuddeng mis. Hefyd fod yr ysgol wedi cynnyddu a gwella; fod ar y llyfrau yn awr dros 200 o fechgyn a 55 o enethod. Yna rhanwyd y gwobrwyon gan Mr. Elliott. Wedi gorphen siaradodd am tua chwarter awr. Dywedai fod yn dda ganddo ein cyfarfod eto ar ben blwyddyn, a gweled yr adeilad wedi ei orphen ac yn ddiddyled, a'i fod am unwaith wedi prophwydo yn gywir; a'i fod yn teimlo yn sicr yn awr pe na buasid wedi cael ceiniog o un lle arall yn India at yr ysgoldy, fod digon o deimlad Christionogol a pharch at y genadaeth yn Shillong fel y buasent yn talu yr holl ddyled hon; ei fod yn mawr barchu a gwerthfawrogi yn fawr lafur a hunanymwadiad y cenadon sydd wedi bod am flynyddoedd yn llafurio nos a dydd er addysgu a dyrchafu, ac goleuo ac

efengyleiddio y llwythau hyn, a'i fod yn dymuno iddynt bob llwyddiant yn eu hymdrech canmoladwy. Fod y Khasi Hills, Assam, ac India oll dan ddyled fawr i genadon Cristionogol sydd yn llafurio ynddi, ac wedi bod yn llafurio am lawer o flynyddoedd, ac mai i'w hymdrech hwy yr oedd y wlad yn ddyledus iawn am ei chynnydd a'i llwyddiant. Ar ol canu hymn arall, aeth Mr. Elliott a'r cwmpeini i edrych ar waith y genethod yn gwnio, a chawsant eu boddhâu yn fawr; a rhoddodd rhai o honynt *extra prizes* i nifer o enethod am eu gwaith. Yna ymadawsant. Yr oedd yn gyfarfod cysurus o'r dechreu i'r diwedd.

Ysgrifena Mr. Jones drachefn ar yr 21ain o Awst fel y canlyn:—

### CYMUNDEB YN SHILLONG.

"Y Sabboth, y 5ed o'r mis hwn, yr oeddym yn cyfranogi o Swper yr Arglwydd. Nid oeddym wedi cael y cymundeb er ys tro, ac yr oedd yma rai yn hiraethu am gyfle i gofio marwolaeth yr Arglwydd Iesu. Treuliwyd yr holl gyfarfod am un o'r gloch gyda'r ordinhadau. Bedyddiwyd dau mewn oed a thri o blant, a derbyniwyd nifer i gymundeb. Rhan effeithiol yn y cyfarfodydd hyn yw edrych a gwrando ar y rhai a fedyddir ac a dderbynir i gymundeb yn sefyll ar eu traed, ac yn gwneyd proffes gyhoeddus o Iesu Grist fel Gwaredwr—eu bod yn ei dderbyn fel eu Prophwyd a'u Hoffeiriad a'u Brenin, i ufuddhâu iddo ymhob peth, ac ymdrechu cadw rheolau ei dŷ a'i deyrnas tra y byddant byw ar y ddaear, a gwneyd eu goreu ymhob ffordd i ddwyn eu *para-Khasi* (eu brodyr-Khasiaidd) i wybod am yr Iesu a'i garu. Yr oedd yno tua 60 yn cyfranogi, a chawsom hamdden tawel i gofio am ein Gwaredwr bendigedig yn marw yn ein lle. Yr oedd yno rai yn teimlo yn ddwys, a hyderwn i ni oll dderbyn a mwynhâu gras ordinhadau tŷ yr Arglwydd. Yn y dyfodol yr ydym yn bwriadu cael y cymun unwaith bob dau fis.

### YMWELIAD A MYLLIM.

Prydnawn Sadwrn, Awst 11eg, aethum i Myllim, ac arosais yno hyd nes yr oedd yn brydnawn Sabboth. Mae hwn yn bentref mawr, ond yn wasgaredig, ac mae y Cristionogion sydd yma yn byw ymhell oddiwrth eu gilydd. Ni a gawsom seiat yno nos Sadwrn; ac er eu bod ymhell, fe ddaeth y cyfeillion at eu gilydd yn lled gryno, ond yr oedd rhwng wyth a naw o'r gloch cyn iddynt gyrhaedd, ac felly yr oedd yn lled hwyr cyn i'r cyfarfod ddiweddu. Yr oedd genym i ymddyddan â'r rhai oeddent i gael eu bedyddio a'u derbyn i gymundeb drannoeth, ac mae yr amser yn rhedeg heibio yn fuan wrth holi nifer yn y pethau. Dyma yr hyn oedd un—tad U Rympang—yn ddyweyd. 'Mae ef, er mewn oed, wedi dysgu darllen yn dda, ac yn darllen llawer ar y Testament, a chanddo gof rhagorol, a'i feddwl ei hun ar bob adnod a dygwyddiad yn mywyd Iesu Grist. Gofynwyd iddo beth oedd efe wedi gael yn ngair Duw am fedydd. I ddechreu, adroddodd yn hollol gywir Matthew xxviii. 18—20; fod y gorchymyn i fedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân; fod yr Ysbryd Glân yn disgyn ar rai ar ol cael eu bedyddio (Mat. iii. 16; Act. ii. 37—39); ac fod maddeuant pechodau yn canlyn bedydd. "Ond," meddai, "rhaid edifarhâu a derbyn yr Iesu er i fedydd fod yn fendith i'r enaid, ac yna byddai yr addewid yn dda iddynt hwy a'u plant. Atebai Pedr, 'Edifarheweh, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân. Canys i chwi y mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb ymhell, cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato.'"

Drannoeth—y Sabboth, cyfarfod o ddeg nes yr oedd yn agos i ddau o'r gloch; ac fel hyn y dygwyd ef ymlaen:—

1. Darllen ac esbonio a holi o adnod i adnod Ephesiaid iv. 17—24, a gweddio.

2. Holi y plant yn y bennod am Iesu Grist fel Iachawdwr.

3. Holi yn gyhoeddus y rhai oeddent i gael eu bedyddio a'u derbyn yn gyflawn aelodau, a hwythau yn sefyll ar eu traed, ac yn gwneuthur proffes gyhoeddus o Iesu Grist.

4. Bedyddio 3 mewn oed a 6 o blant; dau deulu yn cynnwys bob un ŵr a gwraig a thri o blant; un hen wraig, a 3 o ddynion ieuainc, tuag 18 mlwydd oed. Golygfa effeithiol oedd gweled y chwe' plentyn yn sefyll yn rhês wrth ochrau eu gilydd, ac yn dyfod ymlaen y naill ar ol y llall, ac yn sefyll ar y blocyn i gael eu bedyddio,—yr hynaf tua 6 blwydd oed, a'r ieuengaf tua 2. Yr oedd y fechan hon yn dal gafael yn y bwrdd â'i dwylaw, ac yn edrych i fyny at y cwpan, tra yr oedd y seremoni yn cael ei chyflawni. Yna gweinyddwyd yr ordinhâd o Swper yr Arglwydd. Dyma y tro cyntaf i'r ordinhâd gael ei gweinyddu yn y pentref hwn.

5. Pregethodd U Derkha oddiar 1 Petr ii. 3, a minnau oddiar Ephes. ii. 13. Yr oedd yno gynnulleidfa dda wedi dyfod at eu gilydd, ac yn gwrando yn astud. Yr oeddent yn sylwi yn fanwl ar y cyfan. Y fath wahaniaeth yn awr rhagor yr hyn ydoedd 4 neu 5 mlynedd yn ol. Mae yma amryw oeddent gynt ymhell wedi eu dwyn yn agos trwy waed Crist. Mae gair yr Arglwydd fel yn cymeryd gafael mewn

teuluoedd yn y pentref hwn. I'r Iesu y byddo yr holl glod! gogonedded ei ras yn iachawdwriaeth yr holl bentref!

Ni chawsom gyfarfod gweddi yma bore Sabboth. Yr oedd y Cristionogion yn rhy wasgaredig a phell oddiwrth eu gilydd; felly ymwelais yn fore âg amryw dai mewn un ran o'r pentref, a chefais lawer o bleser wrth ymddyddan â'r bobl. Mewn un tŷ daethum o hyd i wraig mewn gwth o oedran, ond yn edrych yn dda a chref, mam Ubajinad. Yr oedd wedi bod yn byw amser yn ol, am dymmor, tua Mawnai, 20 i 25 o flynyddoedd yn ol, a dysgodd ddarllen, ond byth er hyny nid oedd wedi bod yn edrych ar lyfr. Treiais hi i ddarllen y Testament, ac yr oedd yn cofio rhai llythyrenau a geiriau. Ar ol hir a hir siarad a pherswadio, addawodd ddyfod i'r cyfarfod y diwrnod hwnw, a chadwodd ei gair; ac yr oedd yn gwrando yn astud. Mae ei mab hynaf yn dyfod i'r cyfarfodydd yn lled reolaidd ar y Sabboth.

Maent wedi bod wrthi hi yn ddiweddar yn ailadeiladu yr ysgoldŷ, ac mae yn bresennol yn adeilad cyflëus a chadarn, yn llawer gwell na'r hen ysgoldy. Mesura 27 troedfedd wrth 15, ac y mae ynddo ddwy ffenestr i gael goleuni, a drws hefyd. Nid ydynt wedi ei lorio eto, ond maent wedi cael digon o blanciau i hyny, a *beams* i fod o danynt. Yr oedd y *beams* wedi eu gosod yn eu lle, a'r planciau wedi eu gosod rywsut am y Sabboth, wedi eu gosod ar hyd ac ar draws, fel yr oedd yn y llawr lawer o dyllau heb yr un planc, ac yr oedd rhai o'r gynnulleidfa yn eistedd ar y planciau, a'u traed yn myned drwodd i'r byd oedd o'r golwg, a phan gyfodent i ganu ni byddai penau y dynion a'r merched hyn yn uwch na phenau plant 9 neu 10 oed; ac yr oedd yn olygfa rhyfedd gweled hen ŵr a'i wallt yn wyn, yr un daldra a bachgen 10 mlwydd oed. Ond yr wyf yn credu i mi gael gras i addoli yr Arglwydd Iesu. Ymddangosent oll yn falch o'r ysgoldŷ newydd, a chanmolais hwynt oll am weithio mor rhagorol i gael lle i ddysgu darllen ac i addoli Duw."

---

## DOSBARTH MAWPHLANG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG MAWPHLANG, MEDI 17, 1883.

Nos Iau, wythnos i'r diweddaf, aeth U Ihshon a minnau i Mawreng i'r cyfarfod eglwysig, pan y derbyniwyd un hen ŵr i'r eglwys o'r enw Kythaw U Hajin (taid U Hajin). Y mae ei hanes ef dipyn yn ddyddorol i mi yn bersonol, oblegid gellir edrych arno yn ffrwyth y Genadaeth Feddygol. Yr oedd bob amser yn dorwr wyau mawr, nid yn unig yn Mawreng ei hunan, ond mewn pentrefi oddiamgylch. Fisoedd lawer yn ol daeth i'r *Dispensary*, i ymgynghori â mi. Arosodd yma am rai dyddiau, a deuai i'r *Dispensary* bob dydd. Buom ein dau yn dadleu llawer iawn; ac yr oedd yntau ar y cyntaf yn bur galed ac yn annhêg iawn yn ei resymau—yn llawn o dwyllresymau, fel mai gwaith anhawdd oedd ei gael i gongl. Ar ol hir siarad âg ef a llawer o weddïo drosto, dechreuodd feddalhâu; ac ar ol gwella a myned yn ol i'w bentref, arferai fyned i'r moddion yn rheolaidd. Ymhen rhai misoedd ar ol gwella, darganfyddwyd arwyddion *cancer*. Bu yma am tua mis o dan driniaeth drachefn, yn gystal ag o dan addysg. Yn ystod yr amser hwnw cynnygiodd ei hun i'r eglwys; ond yr oedd y cyfeillion yn Mawreng yn teimlo yn awyddus cael mwy o brawf arno. Tra yr oeddynt hwy yn aros, aeth yr hen ŵr yn wael drachefn—afiechyd mewnol y tro hwn, a bu raid aros tipyn oblegid hyny. Yn y cyfwng hwn daeth y *cholera*, a thorodd bob cysylltiad rhyngom a Mawreng, fel nas gellid gwneyd dim. Wedi i bethau wella aethum yno, a chanfyddais ef wedi dal yr holl brofion; ac er dyoddef yn dost oddiwrth afiechyd, a hyny o dan amgylchiadau anhawdd cael meddyginiaeth o Mawphlang, nid oedd unwaith wedi dangos unrhyw awydd ymgynghori â'r cythreuliaid. Teimlid na ddylid ei gadw yn hŵy o'r eglwys; ac felly aethom yno ar y noswaith grybwylledig, a chawsom gyfarfod hapus iawn. Nis gallai gerdded ei hunan, a daeth ei fab i'w gario. (Nid oes neb o'r plant yn Gristionogion, ond y mae rhai yn gwrando, a'r oll yn ffafriol i Gristionogaeth.) Pan yn ymddyddan âg ef, dangosodd wybodaeth led gywir (mor bell ag yr oedd yn myned) o hanfodion crefydd. Wrth gwrs nid oedd yn deall llawer, ac nis gellir dysgwyl hyny; ond deallai fod Iesu Grist yn Fab Duw, wedi dyfod yn ddyn, a marw dros bechaduriaid, ac mai yr unig ffordd i heddwch â Duw ydyw credu yn Iesu Grist. Yr oedd yn cofio tipyn hefyd am amgylchiadau bywyd Iesu Grist—lle y ganwyd ef, enw ei fam, lle y bu farw, dull ei farwolaeth, &c.

Yn ddiweddar yr oeddym yn derbyn bachgen i'r eglwys yn Mawphlang. Un o Mawblei, Khadsawphrah, ydyw ef, ac y mae yn aros yn Mawphlang er ys rhai misoedd. Deuai i'r moddion ar y Sabboth a'r dosbarthiadau darllen yn bur rheolaidd, ac y mae yn deall y Bibl yn lled dda. Y mae ei gymeriad yn bobpeth ag y gellid ddymuno, ac yr oedd ei brofiad crefyddol yn bur brydferth.

Y mae un teulu o'r Cristionogion yn Mawreng wedi cyfarfod â phrofedigaeth lem yn ddiweddar—colli eu hunig blentyn; ac un fach anwyl ydoedd hefyd. Ond y maent yn dal y brofedigaeth hyd yma yn deilwng o'u crefydd.

Wythnos i ddoe yr oeddwn yn Mawbeh Larkhai am y Sabboth. Daeth cynnulleidfa led dda ynghyd—tua 35; ond yr wyf yn teimlo y dylwn fyned yno nos Sadwrn, fel ag i'r rhai sydd yn hanner dilyn wybod ymlaen llaw. Y mae y dosbarth hwn yn bur lliosog; deuant i wrandaw yn achlysurol oddiar deimladau o ddiolchgarwch i'r cenadwr am wellhâd corfforol, neu ryw garedigrwydd neu gilydd, a gellir gobeithio i hyn gyda llawer o honynt arwain i rywbeth uwch. Ond i mi allu myned yno y noswaith flaenorol, gellir dal llawer o'r rhai hyn cyn iddynt fyned i'w teithiau neu i'w meusydd.

Ddoe yr oeddwn yn pregethu yn Mawphlang, ac yr oedd yma gynnulleidfaoedd da a gwrandawiad astud. Yr oedd 54 yn yr Ysgol Sabbothol, a rhan fawr o honynt yn gallu darllen. Ond yr ydym mewn tipyn o brofedigaeth yn awr, oblegid nad oes yma athraw i'r bechgyn yn y dosbarthiadau uchaf yn yr Ysgol. Yr oeddwn wedi bwriadu sefydlu ysgol yn y dydd (yn y boreu y mae yn bresennol) ar y tir Cenadol i'r bechgyn hyn; ond rhaid aros, oblegid y rheswm uchod. Aeth yr athraw oedd yma i ffwrdd yn ddiweddar, ac y mae un arall eto heb ddyfod i gymeryd ei le.

---

## DOSBARTH SHANGPOONG.

Llythyr oddiwrth y Parch. R. Evans, Shangpoong, dyddiedig Medi 8fed, 1883.

Derbyniasom un teulu cyfan o bedwar i'r eglwys yn ddiweddar. Mae y wraig yn wraig gall a dystaw. Mae y gŵr yn ddyn unplyg a gonest, ond y mae dysgu darllen yn waith bron rhy galed iddo. Byddaf yn gofyn iddo yn aml pa faint y mae yn fedru, a dywed ei fod yn medru y wyddor yn weddol, ond nad yw yn eu deall ar ol eu cymysgu gyda'u gilydd. "Ymroddwch ati," meddaf finnau, "a chwi a'u deallwch." Dywed yntau càn sobred a sant, a chan ysgwyd ei ben, "*Kaba da eh ko*," yr hyn sydd bron yr un peth a dyweyd ei fod yn anmhosibl. Derbyniwyd hefyd hen ŵr i'r eglwys yr un pryd. Nid oes lawer o amser er pan mae ef yn ein mysg; ond yr oedd arno eisieu garw cael ei gyfrif ymysg pobl Dduw cyn marw. Dywedai ei fod yn hen, ac nad oedd iddo lawer o amser ar y ddaear, a'i fod yn dymuno rhoddi ei hunan i Dduw yn Iesu Grist. Gofynais iddo a oedd efe yn teimlo ei fod yn bechadur mawr; a dywedai, "Pam nad ydwyf yn bechadur mawr, wedi rhoddi fy holl oes a fy amser goreu i'r diafol!" Gofynais drachefn a oedd efe wedi colli ei ffydd yn yr wyau a'r aberthau; a dywedai, "Debyg fy mod, oblegid beth a gefais i ganddynt erioed? ni wnaethant ddim ond fy nhwyllo ar hyd fy oes." Mewn atebiad i gwestiynau eraill, dywedai fod Iesu Grist yn Fab Duw, a'i fod wedi marw ar Galfaria yn ddibechod, er mwyn achub pechaduriaid.

Ar ol i mi ysgrifenu y llythyr diweddaf, cymerwyd yr unig athraw (U Lamet) oedd yn yr holl amgylchoedd yma yn wael iawn; ac nid yw debyg y bydd yn ddigon cryf i weithio am rai wythnosau eto. Bu unwaith bron yn anobeithiol; ond y mae yn dda genyf ddyweyd ei fod yn awr yn gwellhâu, er yn hynod o araf.

Buom am tua phymthegnos heb neb ond Mrs. Evans a minnau rhwng y ddwy ysgol yma; ond ar ol clywed am ein helynt, anfonodd Dr. Griffiths U Sangbar yma, yr hwn yr oedd wedi ei addaw i mi mor gynted ag y ca'i ef un arall. Mae bron yr holl ysgolion sydd genyf yn y dosbarth wedi bod yn weigion yr haf yma ar ryw adegau, oblegid diffyg athrawon; ond yr ydym yn dechreu dyfod i drefn eto. Anfonaf U Sangbar i Iangkiat mor gynted ag y daw U Lamet yn ol. Yr wyf wedi anfon athraw oddiyma i Nongkryniah ddechreu y mis hwn; a dysgwyliaf, os oes bosibl, gael un neu ddau o rai sydd oddiyma yn Cherra yn ol yn fuan, i gyflenwi yr ysgol yma a Ralliang. Mae o 15 i 25 o fechgyn a llanciau yn myned i ysgol y pentref bob nos, ac o 12 i 15 o enethod yn myned at yr athrawes yn ystod y dydd. Mae amryw o'r bechgyn yn gallu darllen, a rhai o'r genethod yn medru y wyddor a sillebu. Mae yr athrawon yn cadw cyfrif o'r rhai sydd yn bresennol; ond pe gwyddai y plant hyny, diangent bob un.

Nid ydym ni yma yn gallu cadw ein cyfarfodydd yn y farchnadfa mor rheolaidd ag y dymunem, oblegid y gwlaw; ond yr ydym yn myned i ysgoldŷ y pentref i gadw un cyfarfod bob Sabboth, a bydd cryn nifer o blant a rhai mewn oed yn bresennol. Yr ydym, yr wythnosau hyn, bob cyfle a gawn, yn gwastadhâu o amgylch ein capel newydd; ac y mae yr holl ddynion eisoes wedi gweithio tuag wythnos. Byddwn oll yn rhoddi un diwrnod o bob wythnos i gario pridd, ac yr ydym eisoes wedi cario rhai cannoedd o droleidiau. A phan gofiwch nad oes genym na throl na cheffyl i'n helpu, gellwch feddwl ei fod yn waith mawr i ni. Yr ydym yn cario o un ochr i lenwi gwagle mawr yr ochr arall i'r

capel; a thrwy hyny bydd genym lawer o latheni o'i amgylch o le gwastad fel *court*. Pe cyfrifem yr holl ddyddiau y mae y dynion wedi bod yn gweithio yn rhad, gyda'r coed, y ceryg, a'r pridd, y maent oll wedi rhoddi tua mis o waith, heblaw eu rhoddion; ac yn sier mis gall neb ddyweyd ei fod yn ychydig.

Mae y capel bron wedi ei orphen, a dysgwyliwn y bydd y tŷ newydd yn barod ymhen mis neu chwech wythnos.

Mae yr hin wedi bod yn bur boeth, ac nid ydym wedi cael ond tua 36 o fodfeddi o wlaw drwy yr haf, yr hyn sydd yn cael ei ystyried yn ychydig iawn. Cawsom 12 modfedd yn Mai, 12 modfedd yn Mehefin, a 11 modfedd yn Awst. Mae yn bosibl ein bod wedi cael ychydig yn Ebrill. Mae pobl Langkiat wedi cael llawer iawn llai na mi yma; ac y maent yn cwyno yn fawr am fod y *rice* yn wael a bod pryfed yn ei fwyta, oblegid diffyg dwfr arno.

---

# Llydaw.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. W. JENKYN JONES, DYDDIEDIG HYDREF 15FED.

YR wyf yn anfon i chwi gyfieithiad o lythyrau M. Groignec; y maent yn ddigon maith heb i mi ychwanegu dim atynt. Yr wyf wedi eu cyfieithu braidd yn hollol fel y maent, heb dynu dim oddiwrthynt; gellwch eu cwtogi yn ol eich dewisiad.

Yr wyf yma bellach er ys yn agos i dair wythnos. Y Sabbothau diweddaf bum yn rhanu traethodau yn y lle; ddoe, er fod y gwlaw yn syrthio yn drwm, cefais hamdden rhwng y cawodydd i ranu oddeutu 150. Yr wyf eisoes wedi bod yma a thraw yn edrych am ystafell i gynnal cyfarfodydd yma, ond nid wyf wedi llwyddo hyd yma. Cyn i chwi glywed oddiwrthyf eto, byddaf wedi cychwyn cyfarfodydd yma, yn ol pob tebygolrwydd. Y mae teimlad gwrthoffeiriadol cryf yn y lle, ond yr wyf yn ofni ei fod hefyd yn myned yn wrthgrefyddol. Mae llawer o waith i'w wneyd yma; y mae meddwdod yn uchel yma, a dywedir fod llawer o anniweirdeb hefyd.

Nid wyf yn bwriadu dechreu yn Concarneau y gauaf hwn, ond dechreuaf y mae yn debyg y flwyddyn nesaf. Rhaid i mi fwrw y draul; nid ydwyf yn ddigon llithrig yn yr iaith i allu ymgymeryd â'r oll ar unwaith.

RHANAU O ADRODDIAD M. GROIGNEC.

Vannes, Morbihan.
10fed o Fedi, 1888.

Arosais heb ysgrifenu atoch hyd nes ymweled â'r dref hon, er mwyn cael ar-ddeall deimladau y bobl yma tuag at yr efengyl.

Y mae bellach wythnos er pan ydwyf yma. Yr wyf wedi ymweled âg agos bob tŷ yn un rhan o'r dref i gynnyg iddynt yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Dyma y tair-edd waith i mi ymweled â phrif dref talaeth Morbihan; ac y mae yn hyfrydwch genyf allu eich hysbysu fod cynnydd amlwg yn awydd y bobl am yr efengyl. Gwerthais yn ystod yr wythnos uchlaw triugain o gopïau o'r Ysgrythyrau,—y nifer lliosocaf wyf wedi ei werthu mewn wythnos er pan ydwyf wrth y gwaith,—a chefais dderbyniad hynod o galonogol gan amryw. Gwerthais gopi o'r Testament Newydd i un heddgeidwad, ar ol ymddyddan maith ynghylch y gwahaniaeth sydd rhwng Eglwys Rhufain a'r Eglwys Efengylaidd. Gwerthais gopi hefyd i ddyn oedd yn swyddfa y dreth; dywedodd y derbyniwr trethi fod ganddo ef gopi o'r Testament Newydd, ac o'r llythyrau a berson Ploemeur; a chan ddangos y llythyrau, dywedai ei fod yn llongyfarch yr awdwr, er nad oedd yn gwybod pwy ydoedd. Yn ystod fy ymweliad â'r dref yn 1880, gwerthais gopi i wraig, yr hon yr oedd ei mab yn ngholeg y Jesuitiaid. Dangosodd y dyn ieuanc y copi i'w athrawon, y rhai a ddywedasant wrtho nad oedd y cyfieithiad mor gywir ag y gallid dymuno, ond nad oedd dim drwg yn y llyfr, ac eto mai gwell oedd iddo ymgadw rhag ei ddarllenyddio. Derbyniodd ei fam fi y tro hwn yn oeraidd; ond ar ol ymddyddan maith, addawodd ei ddarllen, a barnu drosti ei hun. Bydded i'r Arglwydd agor ei llygaid a'i chalon i dderbyn y gwirionedd.

Dydd Sadwrn, pan oeddwn yn ymddyddan âg amryw o bersonau, daeth dwy eneth ieuanc, oedd yn dygwydd pasio ar yr heol, tuag ataf. Prynodd un o honynt gopi o'r Bibl, a'r llall gopi o'r Testament Newydd. Yr wyf yn nodi y ffaith, am fy mod yn meddwl mai dyma y tro cyntaf i mi weled merched ieuainc yn gwneyd hyny yn yr heol yn ngwydd amryw bersonau.

Yr wyf yn cwbl gredu y rhoddai llawer o drigolion y lle hwn eu presenoldeb mewn cyfarfodydd efengylaidd, pe byddai modd eu cynnal yma. Nid oes gan yr offeiriaid yma, nac yn un man braidd o ran hyny, ond ychydig iawn o ddylanwad ar y dosbarth gweithiol a masnachol. Y mae yr esgob yn fynych yn gorfod gwrando sylwadau nad ydynt yn dderbyniol iawn iddo, pan yn pasio ar hyd yr heolydd.

Kerentrec'h, Lorient,
6ed o Hydref, 1888.

Dylaswn fod wedi anfon i chwi yn ystod yr wythnos ddiweddaf y rhan arall o hanes fy ymweliad â chymydogaeth Vannes; ond

cefais fy atal gan anhwyldeb a barodd i mi gadw fy ngwely am rai dyddiau. Y mae yn dda genyf allu eich hysbysu fy mod erbyn hyn wedi cwbl iachâu.

Sabboth y 23ain, pan yn cerdded trwy un o'r *squares*, daeth dyn ar fy ol, a dywedai fod yn ddrwg ganddo nad oedd wedi prynu copi o'r Testament Newydd pan elwais yn ei dŷ. Cymerais ei *address*, a gelwais drannoeth, a phrynodd gopi. Y mae ganddo ferch fach sydd yn arfer myned i'r ysgol, a hi sydd i fod yn athrawes ac i ddarllen hanes Iesu i'r teulu gartref.

Gwerthais hefyd gopi o'r Testament Newydd i forwyn *hotel*, sydd yn aelod o lawer o gymdeithasau Pabyddol. Ar y cyntaf ymddangosai yn ofnus; ond darllenai ddarnau yma a thraw, tra yr oedd ei meistr, yr hwn a'm hadwaenai, yn chwerthin â'i holl egni, yr hyn a barai iddi fod yn fwy drwgdybus drachefn o gynnwys y llyfrau. Tra yr oeddem yn ymddyddan, daeth offeiriad i mewn, a bellach gofynodd y forwyn yn uchel, er mwyn cael barn yr offeiriad, a oeddwn yn sicrhâu nad oedd dim drwg yn y llyfr, i'r hyn yr atebais mai gair Duw ydoedd; a brysiodd yr offeiriad i ymadael ar unwaith, heb yngan un gair. Pan welodd y forwyn hyny, prynodd y llyfr. Bu y meistr ei hun a'i deulu o bryd i bryd yn myned i'r capel Protestanaidd yn Morlaix.

Gelwais hefyd yn nhŷ yr heddgeidwad,* a phrynodd un arall o honynt (heblaw yr un y cyfeiriais ato eisoes) gopi o'r Testament Newydd. Yma cyfarfyddais â'r prif heddgeidwad a chefais ymddyddan âg ef yn mhresennoldeb amryw o honynt. Dywedai nad oedd yn tybied fod yr esgob yn eu cynnorthwyo i werthu yr Ysgrythyrau, ac nad oedd yr offeiriaid yn hoffi gweled y bobl yn addysgu eu hunain mewn dim, ond eu bod yn casâu pob goleuni er mwyn gallu arglwyddiaethu ar y bobl yn eu hanwybodaeth. Flynyddoedd yn ol yr oeddwn yn cael llawer o drafferth gyda'r heddgeidwaid; ond erbyn hyn y mae yr anhawsderau yma wedi eu symud, a dengys yr heddgeidwad gydymdeimlad â'n hymdrechion i wasgar gair Duw.

Pan yn myned i "Ynys y Mynachod," ymdeithiwn gyda dyn ieuanc oedd wedi cael ei ddwyn i fyny gan y Jesuitiaid cyn eu gwasgariad dair blynedd yn ol. Dywedai ei fod yn eu casâu oblegid eu twyll a'u celwydd. Pan yn y coleg gyda hwynt yr oedd yn teimlo rhyw fath o arswyd rhag meddwl am arweinwyr y Werinaeth, gan fod eu hathrawon yn siarad bob amser am danynt fel anghenfilod wedi eu medd-

iannu gan Satan; ond erbyn hyn fod mwy o adgasedd ganddo at ei hen athrawon nag ydoedd ganddo pan o dan eu haddysg at arweinwyr y genedl; ac mai y waredigaeth fwyaf a gafodd Ffrainc er's blynyddoedd oedd cael ei gwaredu oddiwrth y giwaid dwyllodrus ac ystrywgar yma. Y mae tri theulu Protestanaidd yn arfer dyfod i'r ynys hon i dreulio gwyliau yr haf, ac y mae yma lawer o gopiau o'r Testament Newydd. Pan fydd y morwyr yn ymweled â Lloegr dygant yn eu hôl gyda hwy i'r ynys gopiau o'r Ysgrythyrau. Mewn un tŷ dangosai un wraig i mi gopi oedd wedi ei dderbyn gan un o'r enw Mr. Elliot pan ar ymweliad â Llundain. Ar y wynebdalen gyntaf, y mae wedi ysgrifenu amryw adnodau hynod bwrpasol o'r Bibl. Yn mysg eraill y mae yr adnod "Un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu."

Yn ynys D'Arz, dangoswyd i mi "Lawlyfr y Cristion," yr hwn sydd yn cynnwys yr oll o'r Testament Newydd, ac ydoedd wedi ei adael fel rhodd i'r teulu gan offeiriad a aeth allan yn genadwr i Tahiti yn y flwyddyn 1877. Darllenais yn ngwydd y rhai oedd yno y Sydd bennod o Timotheus: "Rhaid i esgob fod yn ddiargyhoedd, yn ŵr un wraig, &c." Dangosent oll eu syndod wrth glywed y darlleniad; ond nid oedd ganddynt ddim i'w ddyweyd, gan mai yn llyfr y cenadwr Pabaidd yr oeddwn yn darllen. Y mae yma lawer o gopiau o'r Testament Newydd yn yr ynys, ac y mae gan y bobl syniad uchel am y Protestaniaid. Mewn pentref arall cefais y pleser o werthu Testament Newydd i un sydd yn *friar*, a phrif-athraw yn yr ysgol yno.

Yn ystod y daith yma gwerthais uwchlaw 150 o gopiau o'r Ysgrythyrau; gwerthais yn Vannes yn unig rhwng 110 a 120, a'r gweddill yn y wlad oddiamgylch.

Gallaf ddwyn tystiolaeth fel arfer na chefais ddim anghysurus yn ystod y daith; ac ni welais ond ychydig iawn o wynebau oedd yn crychu eu haeliau wrth fy ngweled yn dangos fy llyfrau.

Ychydig cyn gwneyd y daith hon, bum ar ymweliad â Gavre; ac mewn un tŷ yno cyfarfyddais â dyn ieuanc sydd yn y coleg yn ymbarotoi at fod yn offeiriad. Yr oedd ganddo gopi o'r *Vulgate* (y cyfieithiad Lladin o'r Bibl), a phan oeddwn yn darllen darnau o'r cyfieithiad Ffrangeg, troai i'r cyfieithiad Lladin, ac addefai eu bod yn hollol yr un fath. Darllenais amryw rhanau oedd yn groes i athrawiaethau yr Eglwys Babaidd, ac yr oeddent yn synu cael hyd y nôd y darnau hyny yn cydgordio. Cyfarfyddais wedi myned allan o'r tŷ â thad y dyn ieuanc, yr hwn a ddaeth i ysgwyd llaw â mi yn galonog, a diolch i mi am fy ymweliad â'i dŷ.

* Yn y wlad hon, y mae yr heddgeidwaid gyda'u teuluoedd yn byw mewn tŷ mawr gyda'u gilydd, gelwir y tŷ, y "*Gendarmerie Nationale.*"—W.J.J.

## ORDEINIAD MR. JOHN THOMAS FEL CENADWR I KHASIA.

Yn unol â phenderfyniad Cymdeithasfa Bangor, ac yn ol dymuniad Cyfarfod Misol Arfon, cynnaliwyd cyfarfod yn y Waenfawr, Medi 24ain, i ordeinio Mr. John Thomas, Rhostryfan, fel cenadwr i Fryniau Khasia. Llywyddwyd gan Mr. Thomas Lewis, Bangor. Cymerwyd rhan hefyd yn y gwaith gan y Parchn. E. Griffiths, Meifod, J. Thomas, M.A., D. Charles Davies, M.A., T. Levi, Rees Jones, D. Morris, Dr. Edwards, a W. Rowlands, Cefnywaen.

Mae Mr. John Thomas ar hyn o bryd yn Lerpwl mewn *Dispensary* cysylltiedig â Chenadaeth Feddygol, yn cael ychydig hyfforddiant mewn physygwriaeth, ac mewn cangenau eraill er ei barotoi i'w waith dyfodol. Golyga y Cyfarwyddwyr fod hyn yn fwy pwysig iddo ef ac i'r Genadaeth na threulio yr ychydig amser sydd ganddo eto yn y wlad hon i ymweled â'r cynnulleidfäoedd neu â'r Cyfarfodydd Misol, er y gallasai hyny fod yn ddymunol pe buasai amser yn caniatâu. Bwriedir iddo gychwyn i'r India Rhagfyr 22ain.

Os bydd cyfeillion yn dymuno anfon rhoddion at wasanaeth y Genadaeth neu i'r Khasiaid, derbynir hwy yn ddiolchgar, ac anfonir hwynt gyda Mr. John Thomas. Bydd defnyddiau dilladau, *calicoes*, gwlaneni, &c., a phethau at wasanaeth ysgolion y genethod, yn dra derbyniol. Dymunir i'r rhai fyddo yn anfon, ofalu

1. Am anfon pob sypyn i ofal *Messrs. T. Jones & Co., Basnett Street, Liverpool.*
2. I hysbysu yr Ysgrifenydd am eu hanfoniad, gyda rhestr o gynnwys pob sypyn.
3. Peidio anfon dim *cyn* yr 20fed o Tachwedd, nac *ar ol* y 1af o Ragfyr. Cyn anfon unrhyw adeg arall, ymofyner yn gyntaf â'r Ysgrifenydd.

---

## TERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

Yn y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr.

**Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain.**

Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddioed ymhob eglwys i wneyd y Casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad angenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

---

## CASGLIAD CENADOL Y PLANT.

Gan fod blwyddyn y Genadaeth i derfynu ar ddiwedd Rhagfyr, taer erfynir ar i swyddogion eglwysig, arweinwyr cyfarfodydd plant, &c., annog y plant i ddechreu defnyddio y Blychau a'r Tocynau ar unwaith.

---

## Y CASGLIAD CENADOL.

Dymunir galw sylw neillduol at y penderfyniad canlynol a basiwyd gan y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf.

Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd Cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd Cenadol perthynol i'r sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysorydd Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

Dymuna y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Swm a gasglwyd gan W. Phillips a Samuel Jones, Penmaenmawr........ | 2 | 10 | 6 |
| Oddiwrth un yn Penmaenmawr tuag at gael athraw i Mawprydang .......... | 5 | 0 | 0 |
| Capel Stanley Road, Bootle ............. | 47 | 0 | 0 |
| Anfield Road, Liverpool .............. | 54 | 10 | 1 |

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a Thocynau ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, John Griffith, Esq., 72 *Tower Buildings, Water Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gwedd[w]on ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, David Roberts, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* Josiah Thomas, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.

# Y DRYSORFA.

RHIF. 638.] RHAGFYR, 1883. [LLYFR LIII.

## DUW YN Y CNAWD.

GAN Y PARCH. JAMES D. SYMMONS.

*Pregeth a draddodwyd yn nghapel Wdig ar foreu dydd Nadolig*, 1882.

LUC ii. 13, 14: "Ac yn ddisymwth yr oedd gyda'r angel lliaws o lu nefol yn moliannu Duw, ac yn dywedyd, Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da."

YN y cyd-destynau yr ydym yn cael hanes am Joseph a Mair yn dyfod i Bethlehem, i gael eu trethu neu eu cofrestru yn ol gorchymyn Augustus Cesar. Ei ddybenion ei hun, yn ddiau, oedd gan yr Ymherawdwr Rhufeinig wrth wneyd y *census* hwn; ond yr oedd gan Dduw hefyd amcanion pwysig i'w hateb drwyddo. Yr oedd Mair hyd yn hyn wedi bod yn byw mewn lle anmhriodol i'r Messïah gael ei eni ynddo. A byddai ychydig yn rhagor o oediad yn Nazareth yn peri i'r brophwydoliaeth fyned yn fethiant. Ond heb fod un amcan ganddi hi a Joseph, a llai fyth gan Augustus, i gyflawni gair Duw, dyma alwad ar y Forwyn i ddyfod i Bethlehem; ac yn yr ystod y bu hi yno, cyflawnwyd y dyddiau i esgor o honi. "A hi a esgorodd ar ei mab cyntafanedig, ac a'i rhwymodd mewn cadachau, ac a'i dododd yn y preseb, am nad oedd iddynt le yn y llettŷ." Yr oedd amgylchiadau genedigaeth yr Iesu yn hynod isel. Pe buasai Joseph a Mair yn gyfoethog, odid fawr y gallesid hebgor y rhan hon o'r hanes: "Am nad oedd iddynt le yn y llettŷ;" ond gan eu bod yn dlawd, yr oedd rhaid iddynt ymdaro fel y gallent. Dyma yr Un Mawr ag oedd wedi dyfod âg iachawdwriaeth yn ei law, i'w rhoi yn gymwynas i ddynion colledig, yn cael ei ddanfon ganddynt am ei le cyntaf i orwedd arno at yr anifeiliaid. Ystabl a gafodd efe yn llettŷ, a phreseb yn grŷd. Mae yn debyg fod perthynasau i Joseph a Mair y pryd hwn yn Bethlehem; oblegid yno y ganwyd eu hynafiaid, os nad hwy eu hunain. Eto hyd yn nôd yma ni chafodd y Forwyn sanctaidd neb yn barod i'w derbyn o dan ei chronglwyd. Pe buasai tŷ a thylwyth Dafydd heb golli pob tosturi a natur dda, ni adawsid merch i Dafydd mor agos i'w thymp yn amddifad o llettŷ yn ninas Dafydd. Ychydig oedd pobl Bethlehem yn ei wybod pwy a wrthodid ganddynt yn mherson y baban ag oedd i gael ei eni; onidê hwy a agorasent eu drysau i'r Hwn oedd wedi dyfod yma er mwyn agor drysau y nefoedd iddynt hwy. Hwyrach y gall fod yma aml un yn rhy barod i feïo y Bethlehemiaid am beidio rhoi croesaw gwell i'r Iesu, tra y maent hwy eu hunain yn ymddwyn yr un mor angharedig tuag ato. Mewn *disguise* y daeth efe i Bethlehem Ephratah, a methu ei adnabod a wnaeth pobl y pentref hwnw; ond y mae Efe wedi dyfod at gareg drws dy galon di, bechadur, yn ei enw ei hun, ac yno y mae wedi gorfod aros am dymmor maith heb gael agoriad. Mae ei ben wedi ei lanw â gwlith, a'i wallt â defnynau y nos, wrth hir ddysgwyl. Cofia, fy enaid, os agori di rywbryd eto, y bydd ei gadw allan cyhyd yn rhoi i ti ofid dwys; ac os gwrthodi ef hyd nes y

byddo wedi troi ymaith oddiwrthyt, bydd tragywyddoldeb yn rhy fyr i ti edifarhâu digon am wneyd cymaint o gam âg ef yn gystal ac â thi dy hun.

Amlygwyd y newydd am enedigaeth Crist yn gyntaf i fugeiliaid tlodion a wylient eu praidd liw nos. Cydweddai hyn â symlrwydd amgylchiadau y gyfryw enedigaeth, a dysgai nas gall unrhyw iselder yn y byd ein cauad oddiwrth drugareddau goreu Duw. Nac eiddigeddwn yn ormodol wrth gyfoethogion a mawrion y ddaear. Mae pethau mwyaf y nefoedd o hyd cyrhaedd i ni yn gystal ag iddynt hwythau. "Oni ddewisodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd, ac yn etifeddion y deyrnas yr hon a addawodd efe i'r rhai sydd yn ei garu ef?" Pe buasai y bugeiliaid hyn yn hepian ar eu gwelyau, yn lle bod gyda'u dyledswydd, ni fuasent hwy, mwy na'u cymydogion, wedi cael golwg ar yr angylion, nac wedi clywed y newydd am y Gwaredwr. Mae diwydrwydd priodol mewn unrhyw alwedigaeth yn addasder at dderbyn ychwaneg o fendithion, tra nad yw y rhai a arweiniant fywyd segurllyd yn gymhwys i ddim ond i gael eu temtio i bechod. Nid ydym allan o ffordd ymweliadau y nefoedd pan fyddom yn dilyn rhyw alwedigaeth gyfreithlawn, ac yn cymdeithasu ynddi gyda Duw. Mae fod y bugeiliaid wedi eu galw i Bethlehem yn gefnogaeth i'r tlawd ymhob oes fyned yno ar eu hol. Yn lle bod yn rhwystr i ni gael nefoedd, mae tlodi, ar ryw olwg, yn fanteisiol i'w chyrhaedd. "Nid llawer o rai boneddigion a alwyd." Trigai y bugeiliaid yn nês i Bethlehem na'r doethion o'r dwyrain; ond cawsant hwythau seren i'w harwain. Ac os oes miloedd o dlodion wedi gwneyd eu ffordd at y Mab bychan gyda'r bugeiliaid, mae lluoedd hefyd o gyfoethogion wedi eu codi i fyned gyda'r doethion at ei draed.

Nid gwaeledd i gyd oedd ynglŷn â dyfodiad Crist i'r cnawd. Os nad oedd y ddaear yn meddwl fawr o'r amgylchiad, yr oedd y nefoedd yn meddwl yn y modd uchaf am dano, ac yn arllwys ei thyrfaoedd angylaidd wrth y myrddiynau i lawr uwchlaw meusydd Bethlehem, i roi mawlgân o glod iddo ar ei enedigaeth. Dechreuwyd yr anthem hon mewn unawd ogoneddus. "A'r angel a ddywedodd wrthynt, Nac ofnwch, canys wele yr wyf fi yn mynegi i chwi newyddion da o lawenydd mawr, yr hwn a fydd i'r holl bobl. Canys ganwyd i chwi heddyw Geidwad yn ninas Dafydd, yr hwn yw Crist yr Arglwydd. A hyn fydd arwydd i chwi: chwi a gewch y dyn bach wedi ei rwymo mewn cadachau a'i ddodi yn y preseb. Ac yn ddisymwth," fel mewn gorawydd i dori i mewn â'r gydgan gref mor gynted ag y disgynai geiriau olaf y genadwri ryfedd dros wefus eu cydymaeth, "ac yn ddisymwth yr oedd gyda'r angel lïaws o lu nefol yn moliannu Duw ac yn dywedyd, Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da."

Rhoddir mantais i ni oddiwrth eiriau y gân i sylwi ar dri pheth.

I. Yr amgylchiad pwysig ag oedd yn destun can yr angylion, sef ymgnawdoliad Crist.

Dyma ni heddyw wedi ein gosod wyneb yn wyneb â'r ffaith ryfeddaf a gymerodd le yn ngreadigaeth Duw erioed, sef, bod yr Ail Berson yn y dragywyddol Hanfod wedi gwisgo agwedd gwas, ac wedi ei gael mewn dull fel dyn. Nid yw yn ein gallu tlawd ni, nac yn ngallu neb arall, i roi golwg gyflawn i chwi ar y môr o ryfeddodau sydd yn y gwirionedd hwn; ond er hyny ni a garem suddo ein cragen fechan ynddo i roi cipolwg i chwi ar natur ei gynnwys. Mae athrawiaeth yr ymgnawdoliad yn yr oll o honi yn dyfod i hyn: fod Mab Duw wedi ei uno â dynoliaeth, neu mewn geiriau eraill, â chorff dynol ac enaid dynol, yn Mherson yr Iesu, mewn trefn i ddwyn ymaith bechodau y byd trwy ddyoddefaint ac angeu y dyn â'r Duwdod ynddo yn trigo. Yr oedd mab bychan Mair yn Berson Dwyfol. Wrth agor y Testament Newydd, cyfarfyddwn â geiriau fel hyn am y Gwaredwr: "Duw oedd y Gair; Duw a ymddangosodd yn y cnawd; Duw gyda ni; Arglwydd pawb oll; Yr hwn sydd uwchlaw pawb, yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd." Yn awr os oedd yr ysgrifenwyr sanctaidd yn golygu cadarnhâu Duwdod Crist drwy y cyfryw ymadroddion, y maent yn eiriau gwirionedd a sobrwydd; ond os nad oeddent, y mae yr iaith yn anochelgar, ac o'r fath nas gellir ei chyfiawnhâu. Yr oedd siarad felly wrth ddynion ag oeddent yn dueddol i eilunaddoliaeth,

i'r dyben o ddifodi eulunaddoliaeth, yn dybiaeth gref yn erbyn eu hysbrydolïaeth. Yn amser Crist yr oedd yr Iuddewon yn amddiffynwyr zelog o undod Duw, ac o'r olwg hono ar ei berffeithiau ag oeddent yn ei chael yn yr Ysgrythyr. Proffesai Iesu Grist a'i apostolion y parch mwyaf i'r Ysgrythyrau Iuddewig; eto desgrifir y Gwaredwr yn y Testament Newydd wrth yr un enwau a'r titlau ag y desgrifir y Goruchaf Dduw yn yr Hen Destament. "Ydwyf yr hwn ydwyf," ebe Exodus. "Cyn bod Abraham yr wyf fi," ebe efengyl Ioan. "Canys yr Arglwydd eich Duw yw Duw y duwiau ac Arglwydd yr arglwyddi," ebe Deuteronomium. "Arglwydd arglwyddi, a Brenin brenhinoedd," ebe y Dadguddiad. "Brenin y gogoniant" ebe y Salmau. "Arglwydd y gogoniant," ebe y llythyr cyntaf at y Corinthiaid. "I ti, Arglwydd, y mae mawredd a gallu a gogoniant a goruchafiaeth," ebe 1 Cronicl. "Yr hwn yw pen pob tywysogaeth ac awdurdod," ebe yr epistol at y Colossiaid. Os oedd y rhai a ddesgrifient Iesu Grist i'r Iuddewon wrth yr enwau a'r teitlau cysegredig hyn yn golygu arddangos ei Dduwdod, mae y desgrifiad yn gywir, a'r cymhwysiad yn ddiogel; ond os oeddynt yn amcanu desgrifio dim ond dyn yn unig, yr oeddynt o bawb yn sicr o fod y mwyaf afresymol. Beth bynag a olygent hwy, deallai yr Iuddewon eu geiriau yn ein hystyr ni, a chymerent yr Iesu fel cablwr: "Nid am weithred dda yr ydym yn dy labyddio, ond am gabledd, ac am dy fod di, â thithau yn ddyn, yn dy wneuthur dy hun yn Dduw."

Priodola y Bibl yr un perffeithiau i Iesu Grist ag i Dduw. A ydyw creu yn waith o eiddo Duw? Trwy Grist y crëwyd pob peth. A ydyw cynnal yr oll yn waith o eiddo Duw? Crist sydd yn cynnal pob peth trwy air ei nerth. A ydyw achub pechaduriaid yn waith o eiddo Duw? "Hwn yn ddiau yw y Crist, Iachawdwr y byd." A ydyw maddeu pechod yn dangos Dwyfoldeb? "Y mae gan Fab y dyn awdurdod i faddeu." Gorchymyn o eiddo Duw yw, "Yr Arglwydd dy Dduw a addoli;" ac eto archa yr Ysgrythyr i'r holl angylion addoli Crist. "Gosodir ni oll," medd Paul, "ger bron brawdle Crist." Yr ydym yn addef y cawn ein barnu; ond pa fodd y gellir profi mai yr Iesu a fydd y Barnwr? "Y mae yn ysgrifenedig," ychwanega yr Apostol, "Byw wyf fi, medd yr Arglwydd; pob glîn a blyga i mi, a phob tafod a gyffesa i Dduw." Nid oes un mawredd fel hyn yn perthyn i Dduw a'r nad yw yn perthyn hefyd i'r hwn a orweddodd yn y preseb. Ffurf Duw a roddes efe heibio wrth ddyfod i'r cnawd, ac nid ei ogyfuwchder â Duw. Yr oedd cymaint o Dduwdod yn eiddo iddo wedi dyfod yn ddyn ag oedd ganddo erioed; ond efe a newidiodd y ffurf Ddwyfol, neu yr hunanamlygiad gogoneddus o hono fel Duw, am agwedd gwas. Ac yn y modd hyn daeth yr Hwn oedd â'i fynediad allan o'r dechreuad er dyddiau tragywyddoldeb i fod yn faban newyddeni. Yr hwn oedd yn gwisgo goleuni fel dilledyn a ddaeth i gael ei rwymo mewn cadachau. Y Duw anweledig i gael ei weled a'i deimlo yn mherson yr Iesu; a'r Hwn nas gall y nefoedd na nefoedd y nefoedd ei gynnwys i wneyd ei wely yn mhreseb yr anifail. Gadawodd awyrgylch o fywyd ag oedd yn naturiol iddo i'r dyben o ddyfod o fewn awyrgylch o farwolaeth ag oedd yn ddyeithr i'w natur. Gwaghäodd ei hollwybodaeth i ddirnadaeth ddynol, ei anfeidroldeb i le, ei dragywyddoldeb i amser, a'i lywodraeth gyffredinol i gyflwr o wasanaeth. Dyma y grisiau mawrion yn ei ddarostyngiad, sef y rhai a'i disgynodd o ffurf Dduw i ffurf dyn. Wedi iddo ddyfod i Bethlehem, nid ydym yn synu rhyw lawer iddo fyned i Galfaria. Yr oedd y preseb ymhellach oddiwrth sefyllfa gyntefig yr Iesu nag ydoedd o'r groes. Nid oedd dyoddef yn ein natur, ar ol dyfod iddi, yn gymaint peth âg ymgymeryd â'r natur hono er mwyn dyoddef.

Yn Mherson Crist yr ydym yn cael y gwir Dduw yn wir ddyn. Nid rhith o gorff oedd ganddo, fel y credai rhai cyfeiliornwyr yn oesau cyntaf Cristionogaeth, ac eraill wedi hyny, ond corff gwirioneddol,—asgwrn o'n hasgwrn ni, a cnawd o gnawd y brodyr. "Gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau." Yr oedd yn bwyta, yn yfed, yn cysgu, yn cerdded, yn gweithio, ac yn teimlo yn flinedig, fel ninnau. Yr oedd yn anghenrheidiol iddo fod fel hyn yn ddynol mewn trefn i gyflawni y prophwydoliaethau a'r bwriadau Dwyfol am dywalltiad ei waed er ein hiach-

awdwriaeth, yr hyn na allasai fod wedi ei wneyd pe na buasai ganddo wir gorff. Amlwg yw hefyd iddo gymeryd ein holl natur, enaid yn gystal a chorff. Heb hyn, nid allasai fod yn alluog o'r tristwch hwnw hyd angeu, ynghyd a'r holl actau o alaru, teimlo, llawenhâu, &c., a gyfrifid iddo. Rhaid cofio, fodd bynag, mai nid ein natur bechadurus, ond ei chyffelybiaeth, a gymerodd efe, "gan na wnaeth gam, ac na chaed twyll yn ei enau."

Rhaid i ni hefyd beidio cymysgu y ddwy natur yn ei Berson, oblegid er fod yr undeb agosaf rhyngddynt, eto nid oes un cymysgedd o honynt nac o'u priodoleddau. Nid yw ei ddynoliaeth yn cael ei chyfnewid i'w Dduwdod, na'i Dduwdod i'w ddynoliaeth; ond y mae y ddwy natur yn wahaniaethol yn y Person. Pa fodd y bodola yr undeb hwn sydd uwchlaw ein gwybodaeth ni; ac, yn wir, os nad allwn ddeall pa fodd yr unir enaid a chorff â'u gilydd, nid yw yn debygol y gallwn amgyffred dirgelwch mawr duwioldeb, Duw wedi ymddangos yn y cnawd.

Y cyfryw yw y frasolwg a rydd yr Ysgrythyr ar bwnc yr Ymgnawdoliad, pwnc, gyda llaw, a gyfansodda gnewyllyn mwyaf mewnol yr efengyl, ac a gynnwysa ddigon o ryfeddodau i gymeryd tragywyddoldeb ar ei hyd i ddyfod â hwy yn iawn i'r golwg. Cofiwn nad yw yn ddigon, tuag at i ni fod yn gadwedig, fod Duw wedi dyfod i'n natur, heb i ni gael ei natur ef, y duwiol anian, ynom ni ein hunain. Mae yn wir fod yr ymgnawdoliad wedi arwain moroedd pell gras a thrugaredd i gronfa ag sydd yn agos iawn atom; ond ffydd yn y Gwaredwr yn unig yw y bibell sydd yn dwyn y dwfr bywiol o honi i galon y pechadur. Marw o syched a wnei di, enaid anwyl, yn ymyl y cyflawnder, os na rydd Ysbryd Duw y bibell i lawr rhyngot â'r gronfa sydd yn Nghrist ar dy gyfer. Llefa am gael profi rhinwedd ffynnon Bethlehem, tra y mae yr ysbryd wrth ei waith yn troi ei dyfroedd byw i galonau meirw.

II. Effeithiau yr Ymgnawdoliad tuag i fyny: "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw."

Nid y pechadur yn unig a fydd yn well o fod Anwylyd y nefoedd wedi talu ymweliad â'n byd ni; ond y mae Duw ei hun i fod ar ei fantais. Mae i gael yn ôl y cwbl a gollodd trwy gwymp dyn, a mwy o lawer gyda hyny. Mawrhâu enw Duw oedd y prif beth yn neges Crist i'r ddaear. Gogoneddiasai y Tad oedd ei holl fywyd yn y cnawd. "Mi a'th ogoneddais ar y ddaear; mi a gwblhëais y gwaith a roddaist i mi i'w wneuthur." Yr oedd gwrthgiliad dyn wedi gosod enw Duw o dan gwmwl du, ac yr oedd yn rhaid cael hwnw ymaith mewn un o ddwy ffordd; naill ai trwy ddamnio y troseddwr, neu trwy ei arwain mewn llwybr cyson âg anrhydedd y llywodraeth Ddwyfol. A thrwy ymgymeriad Crist â'n natur, a'r hyn a gyflawnodd efe ynddi yn ein lle a throsom, cafwyd modd nid yn unig i ddilea y cwmwl a nodwyd, ond i ddwyn yr enw mawr ag oedd o dano i fwy o eglurder nag erioed o'r blaen. Mae y priodoliaethau hyny o eiddo y Goruchaf a amlyga natur a rhagluniaeth, megys ei allu, ei ddaioni, a'i ddoethineb, yn fwy amlwg o lawer mewn cadw nag wrth greu a chynnal. Ac y mae priodoliaethau eraill o'i natur, sef ei gariad a'i drugaredd, ag oeddent yn hollol guddiedig yn flaenorol, yn ymddysgleirio i'r golwg yn nhrefn y prynedigaeth. Llifa mwy o oleuni ar y cymeriad Dwyfol o'r un adnod hono, "Canys felly y carodd Duw y byd, &c.," nag o holl gyfrolau trwchus llyfr y greadigaeth gyfan. Nid yw yr holl fydoedd a greodd Duw yn rhoi cymaint o ogoniant i'w enw ag a rydd un pechadur wrth gredu yn ei Fab. Y fath gyfrifoldeb pwysig a rydd yr ystyriaeth hon arnom ni a freintiwyd â'r efengyl. Trosedd mawr yn Adda oedd bod yn ol am y gogoniant a ddysgwyliai Duw oddiwrtho yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd; ond mwy trosedd o lawer ynom ni fydd bod yn ol am y gogoniant a allwn ei roddi iddo trwy dderbyn ei drefn. Nid peth bychan ganddo fydd ein gwaith yn myned â hwn oddiarno. "Pa fodd y diangwn ni os esgeuluswn iachawdwriaeth gymaint?" Pa fodd y diangwn, nid yn unig am wrthod daioni mor fawr i ni ein hunain, ond hefyd am fod yn euog o ladrata cymaint o ogoniant oddiwrth Dduw trwy beidio gadael iddo egluro ei gariad yn ein hachubiaeth? Nid peth ysgafn ganddo dy fod di, bechadur, yn afradu yr holl draul anfeidrol ag yr aeth efe iddi er dy gadw—dy fod yn derbyn ei ras yn ofer. Ni phetruswn i ddyweyd fod ambell un yn ein hodfeuon wedi derbyn cy-

naint o ras Duw yn ofer a fuasai yn digon i achub cannoedd a wnaethent defnydd priodol o hono. Rhaid i rithodwyr y Gwaredwr roi cyfrif; ac e ymddygir atynt yn y farn fel archesbeilwyr y greadigaeth. Cadwed y nefoedd bawb o honom rhag myned â'r euogrwydd hwn gyda ni i wyddfod y Barnwr.

Prif amcan yr ymgnawdoliad fel hyn oedd dwyn rhyfeddodau cuddiedig natur Duw i'r golwg; ac o ganlyniad priodola yr angylion yn y gân hon ogoniant iddo yn y goruchaf. A gellir deall hyn nid yn unig am y nefoedd uchaf, ac ymhlith y bodau uchaf, ond yn y graddau uchaf a mwyaf dyrchafedig; oblegid, fel y dangoswyd yn barod, yr oedd pethau yn perthyn i'r Ddwyfol Natur nad oeddent erioed o'r blaen wedi cael, ac nas gallasent gael, eu hysbysu mewn un ffordd arall, i'w harddangos yn awr yn eu llawn ogoniant. Ac yr oedd hyd yn nôd yr angylion i gael gwrthddrychau newydd i'w myfyrio, a dedwyddwch newydd i'w fwynhâu. "Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwenychu edrych." Cymerant yr *interest* hwn yn yr ymgnawdoliad, yn un peth, am eu bod hwy eu hunain i gael manteision mawrion oddiwrtho, a thrwy hyny i gael achos newydd i glodfori Duw. Maent yn awr wedi eu gosod o fewn yr un rhwym yn ddiogel â'r eglwys brynedig;

> "Wedi eu c'lymu gyda'r seintiau
> Yn yr un Pen, yn yr un clwyfau."

Trwy hyn maent wedi eu codi i agosach cymundeb â Duw, wedi eu gosod tu hwnt i'r posiblrwydd i bechu, ac yn cael golwg gliriach ar ddaioni a doethineb y Dwyfol Fôd. Nid rhyfedd gan hyny fod "gogoniant yn y goruchaf i Dduw." Ond yn yr olwg ar y dyrfa brynedig yn dyfod yn gryno adref i'r nefoedd, y bydd yr hwyl fawr yn dechre tufewn i'r llên. Bydd syndod a moliant hyd yn nôd yr angylion, wrth weled yr hyn fydd y drefn wedi ei wneyd i ddyn colledig, yn fwy nag wrth weled yr hyn a wnaeth hi iddynt hwy eu hunain. Ac os codir hwynt i'r fath lawenydd yn yr olwg a gânt ar yr eglwys, beth, tybed, fydd clodforedd yr eglwys ei hun? Mae y nefoedd wedi bod yn gartref i fawl o'r dechre. Hi yw gwlad y gân yn y byd arall, fel y mae Cymru yn hwn. Bu cyngherdd rhagorol yno wrth osod conglfaen y greadigaeth i lawr. "Pan gydganodd sêr y bore, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Aeth clodforedd yr angylion yn uwch yn nghân yr ymgnawdoliad; a bydd yn uwch eto ar adeg gogoneddiad Crist a'i bobl, gan y byddant wedi cael gwell golwg ar amcanion y drefn. Ond fe foddir eu lleisiau yn hollol yn sŵn anthem y groes:

> "Bydd canu uwch am Galfari
> Na chlywodd yr angylion fry
> Pan ddelo Salem bur yn llawn."

Mae y Drindod sanctaidd i dderbyn enw tragywyddol iddi ei hun oddiwrth saint ac angylion, am feddwl a dwyn oddiamgylch ffeithiau mawrion y preseb a'r groes. Dyma un canlyniad, a'r canlyniad mwyaf i'r ymgnawdoliad: "Gogoniant yn y goruchaf i Dduw." Hyn yw ei effaith tuag i fyny.

III. Ei effeithiau tuag i lawr: "Ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da."

Yr oedd pechod dyn wedi ei wneyd yn elyn i Dduw, a Duw yn elyn iddo yntau; a chael yr ymrafael hwn i derfyniad boddhaol rhwng y ddwy blaid ddig oedd baich bywyd a marwolaeth yr Iesu. Fel Tywysog tangnefedd y prophwydwyd am dano. Dyfod i wneyd tangnefedd oedd ei neges ef. Yr oedd hwn yn waith mawr, yn gyfryw nad allasai neb ond efe ei gwblhâu, ac yn ddigon o orchwyl i roi Duw-ddyn ar ei eithaf yn y cyflawniad o hono. Nid oedd gan Grist un awr o'i fywyd i'w hebgor at ddim arall. Bryd bynag neu lle bynag y cyfarfyddwch âg ef yn yr hanes am dano, ai yn y preseb, ai yn ngweithdŷ Joseph yn Nazareth, ai yn ei weinidogaeth gyhoeddus, ai yn yr ardd, neu ai ar y groes, gyda helynt y tangnefedd yr ydych yn ei gael o hyd. Ac fe a lynodd wrtho hyd nes y gwelodd ef wedi ei orphen. Gan nad beth oedd yn gynnwysedig mewn dwyn y nef ddigllawn a'r ddaear euog at eu gilydd, mae y cwbl wedi ei gael yn y gwirionedd hwn: "Efe yw ein tangnefedd ni." Ac y mae Duw bellach "yn Nghrist yn cymmodi y byd âg ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau." Mae y newydd drutaf a fedd y nefoedd i'w gael yn awr yn rhad yn eich ymyl: "ar y ddaear tangnefedd;" Mab Duw yn barod i faddeu yn nghyfryngod ei Fab—ydyw! yn *barod* i faddeu. Nid

oes raid i chwi ofni, wrth fyned at ei ddrws am fywyd, y byddwch yn ei gael heb un drefn i drugarhâu. Mae y ddarpariaeth ar gyfer hyny wedi ei chyflawn orphen. Ni elwir arnom ni i wneyd tangnefedd cyn cael ffafr y Duw ag ydym wedi ei ddigio. Pe felly, buasai drosodd arnom am ei heddwch. Ond yr oll a geisir oddiwrthym yw derbyn y tangnefedd sydd ganddo yn ei Fab i'w roi i bechadur. "Ar y *ddaear* tangnefedd," nid yn uffern; i ddynion, nid i gythreuiaid. Pe buasai tuedd at genfigen yn meddwl yr angylion, ni fu erioed well achlysur i'w chynhyrfu na'r un presennol. Yr oedd eisieu tangnefedd ar eu brodyr syrthiedig; a phe buasai yn unol â meddwl Duw iddynt ei gael, buasent wedi myned atynt yn llawen â'r newydd am dano. Ond gan fod y bwriadau Dwyfol fel arall, nid allasai yr angylion sanctaidd lai na llawenhâu, er bod iachawdwriaeth, wrth adael y nefoedd, yn gwynebu ar lwch y llawr, ac nid ar yr angylion ni chadwasant eu dechreuad. "Ar y ddaear tangnefedd." Mae bod trugaredd achubol Duw wedi dyfod i'r un byd â ni yn beth ag y dylem ddiolch yn gynhes am dano. Os ydym heb ein hachub, yr ydym hyd yn hyn, diolch i amynedd y nef, yn sefyll ar y llecyn hwnw o obaith ag y mae goruchwyliaeth gras a chariad Duw yn cael ei dwyn ymlaen arno. Ond ofnwn, ofnwn, rhag i ni gael ein hunain eto mewn gwlad lle nad oes un sôn am gyfiawnhâu a maddeu a sancteiddio! Defnyddiwch y newydd da o fod tangnefedd wedi dyfod i'r ddaear, nid fel rheswm i aros yn ddiofal yn ei gylch nes colli gafael arno byth, ond fel annogaeth gref i beidio gadael llonydd i Dduw hyd nes y byddoch chwi ac yntau wedi myned yn gyfeillion yn yr aberth mawr. Hwn yw sail pob gwir dangnefedd sydd yn y byd yma—tangnefedd â Duw, tangnefedd â ni ein hunain, a thangnefedd rhwng dynion a'u gilydd. Canlyniad ymadawiad dynion â Duw yw bod y naill o honynt yn casâu y llall; a'r ffordd oreu i adferu brawdoliaeth rhwng gwahanol bersonau a chenedloedd, yw trwy eu cael i gofleidio yr un Ceidwad. Fe wna hyn fwy i ddystewi ymrysonau o bob natur na phob moddion arall.

Os meddyliwn am y rhyfeloedd gwaedlyd a ddygwyddasant o fewn ein côf ein hunain, yr ydym braidd yn anobeithio am weled heddwch parhâus a chyffredinol yn cael ei sefydlu yn y byd. Wedi y cwbl mae y geiriau, "Ar y ddaear tangnefedd," wedi gosod y lefain yn y clamp toes; ac er mor anamlwg a dystaw ei ddylanwad, mae yn sicr o weithio yr holl glamp maes o law i'w naws ei hunan. Mae yr addewid hono ar ei ffordd yn dyfod, er pelled yr ydym yn ei chanfod oddiwrthym: "A hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaëwffyn yn bladuriau; ni chyfyd cenedl yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Byd hyfryd i fyw ynddo a fydd hwn wedi i'r efengyl ddwyn ei drigolion i gyd at Grist ac at eu gilydd.

Mae un gair pwysig yn y testun heb gyffwrdd âg ef: "i ddynion ewyllys da." Gogoniant yn y goruchaf i Dduw ac ar y ddaear tangnefedd, yw dau ganlyniad mawr yr anturiaeth ag y daeth y Gwaredwr i'r byd o'i herwydd; ond y ffynnonell o ba un y cododd y cwbl yw ewyllys da Duw i ddynion; ei gariad tragywyddol i fyd colledig.

Yr ydym yn rhoddi heibio gyda gofyn, Beth ydyw yr ymgnawdoliad yn debyg o fod i ni yn bersonol? Pa un ai gwae ai gwynfyd a ddylifa i'n heneidiau o'r ffaith bwysig hon mewn byd arall? Syrthiwch i mewn heddyw â thelerau yr efengyl, fel y byddo cofio Bethlehem a Chalfaria i chwi yn gysur mewn bywyd, yn oleuni yn y glŷn, yn hyder yn y farn, ac yn ddigon o nefoedd am byth wedi i'r ddaear fyned ar dân.

---

## MABWYSIAD.

*Gan y Parch.* JONATHAN JONES, *Dinbych.*

Sylwadau a ddarllenwyd fel agoriad i drafodaeth ar y pwnc mewn cynnulliad o Bregethwyr a Blaenoriaid.

I. PA BETH YW MABWYSIAD? Dywedir mai ystyr y gair a gyfieithir *mabwysiad* yn y Testament Newydd ydyw "gosod yn fab." A dichon fod yn anhawdd rhoddi gwell darnodiad o'r hyn ydyw mabwysiad ysbrydol na dyweyd, mai newidiad perthynas pechadur â Duw ydyw, drwy yr hyn y mae y pechadur yn cael ei osod ymhlith plant Duw. Yn flaenorol i fabwysiad saif dyn yn y berthynas o droseddwr euog ger bron Duw, a saif Duw yn y berthynas o Farnwr cyflawn ar ddyn. Trwy fabwysiad y mae Duw yn dyfod yn Dad i'r pechadur

a'r pechadur yn dyfod yn blentyn i Dduw. Mae y mabwysiad hwn, gan hyny, yn cynnwys mwy na gwneuthur estron yn fab. Pe mabwysiadai brenin fab i frenin arall, cynnwysai hyny fod estron yn cael ei wneuthur yn fab. Gallai y mabwysiedig fod o waedoliaeth mor uchel, ac o gyfoeth ac anrhydedd mor fawr, â'r mabwysiadwr. Y cwbl a gymerai le yma fyddai, fod estron yn cael ei wneuthur yn fab. Ond pe mabwysiadai brenin un o ddeiliaid ei lywodraeth, cynnwysai hyny elfen ychwanegol, am y byddai deiliad, felly, yn cael ei ddyrchafu i'r teulu breninol. Ond pe tybid am frenin yn myned gam ymhellach eto, ac yn mabwysiadu un o droseddwyr ei gyfreithiau—ped elai i un o garcharau ei deyrnas, gan ollwng yn rhydd oddiyno un a gondemniasid gan lys cyfiawnder, a'i wneuthur yn fab iddo ei hun—ceid engraifft debycach na'r un o'r ddwy flaenorol o'r hyn ydyw mabwysiad pechadur gan Dduw. Os bu mabwysiad ar angylion cyn y gallesid eu galw yn feibion Duw—yr hyn, fe allai, nad yw yn gwbl eglur yn y Bibl, yr oedd Duw drwy hyny yn mabwysiadu deiliaid heddychlawn ac ufudd ei lywodraeth yn feibion iddo ei hun. Pan yn mabwysiadu dynion, gwneuthur gwrthryfelwyr yn feibion y mae. Dylem ddal gafael ddiysgog yn y gwirionedd hwn y dyddiau hyn, yn gymaint a bod llawer o siarad ac ysgrifenu amwys, ac yn fynych cwbl gyfeiliornus arno, gan y rhai a soniant yn barhâus am Dadoliaeth gyffredinol Duw, gan lwyr anghofio neu ddiystyru y ffaith fawr fod dyn yn bechadur. Nid oes dim yn arwain dynion i fwy o ddyryswch, pan y ceisiant ddysgu gwirioneddau y Bibl, na bod eu syniadau yn gyfeiliornus am yr hyn yw pechod; ac oddiyma y tardd cyfeiliornad y rhai a ddarluniant Dduw fel Tad cyffredinol ei holl greaduriaid, heb gymeryd un sylw o dystiolaeth eglur y Dadguddiad Dwyfol fod Duw yn ddigllawn beunydd wrth yr annuwiol, a bod calon dyn fel pechadur yn llawn gelyniaeth tuag at Dduw.

Yn awr, newidiad ar y berthynas hon sydd rhwng dyn â Duw ydyw mabwysiad. Pan y crêd pechadur yn Iesu Grist, a thrwy hyny y dêl i undeb âg Ef, a phan, ar sail yr undeb hwnw, y cyfrifa Duw gyfiawnder Crist i'r pechadur, gan faddeu iddo ei holl bechodau a'i wneuthur yn "gyfiawnder Duw ynddo Ef," a phan yr effeithia yr Ysbryd Glân gyfnewidiad yn "ysbryd meddwl" y pechadur, neu ar ei galon, gan ladd yr elyniaeth sydd ynddo tuag at Dduw trwy dywallt cariad Crist yn ei galon,—pan y cymer yr holl bethau hyn le, mae holl berthynas y pechadur â Duw yn newid. Mae Duw, yr hwn yn flaenorol a'i condemniai fel troseddwr, yn dyfod yn Dad i'r pechadur yn Nghrist; ac y mae y pechadur, yr hwn yn flaenorol oedd yn llawn gelyniaeth yn erbyn Duw, yn dyfod i feddu y teimladau mabaidd o gariad at ac ymhyfrydiad yn Nuw.

II. Sail Mabwysiad. Yn ol yr hyn a ddywedwyd eisoes, mae yn amlwg mai sail mabwysiad yw undeb â Christ. Dywed Paul yn ei lythyr at yr Epheseiaid (ii. 5) mai yn Nghrist y rhagluniaethwyd y saint i fabwysiad: "Wedi iddo ein rhagluniaethu ni i fabwysiad trwy Iesu Grist," neu yn Iesu Grist, "iddo ei hun, yn ol boddlonrwydd ei ewyllys Ef." Megys mai yn Nghrist yr etholodd Efe ni, cyn seiliad y byd, i sancteiddrwydd—i fod yn sanctaidd a difeius ger ei fron Ef—felly hefyd yn Nghrist y rhagluniaethodd Efe ni i gyflwr o faboliaeth, neu i fod yn feibion iddo ei hun. Ac heblaw hyny, yn Nghrist hefyd y mae y saint yn dyfod yn weithredol mewn amser yn feibion i Dduw. Mae geiriau yr Efengylwr Ioan yn ddadganiad eglur a therfynol ar y pwnc hwn: "Ond cynifer ag a'i derbyniasant Ef, Efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw, sef i'r sawl a gredant yn ei enw Ef." Mae yn ddiammeu fod yr ymadrodd, "gallu i fod yn feibion," yn cynnwys pob peth sydd ar bechadur ei eisieu mewn trefn i fod yn blentyn i Dduw. Mae yr holl "allu" sydd yn anghenrheidiol i fod yn feibion i Dduw yn dyfod i feddiant dynion trwy undeb â Christ. Trwy ei dderbyn Ef, neu trwy gredu yn ei enw Ef, y derbyniant y "gallu" i fod yn feibion i Dduw. Trwy ddyfod i undeb â Christ y cyfiawnheir pechadur, ac y mae bod yn gyfiawn ger bron Duw yn elfen hanfodol yn y gallu i fod yn feibion i Dduw. Trwy Iesu Grist y mae y saint yn cael "dyfodfa trwy ffydd i'r gras hwn" o heddwch tuag at Dduw; a thrwy aros yn Nghrist y safant yn y cyflwr hwn o heddwch, gan "orfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Nid wyf yma yn son dim am drefn amseryddol cyfiawnhâd a mabwysiad. Mae duwinyddion yn methu cyttuno ar drefn amseryddol iddynt, ond y mae yn sicr na ddylid ceisio eu gwahanu. Pan y mae pechadur yn dyfod i undeb â Christ mae yn dyfod i feddiant o'r naill a'r llall; ac y mae yn amlwg mai rhai cyfiawn yn nghyfiawnder Crist yw holl blant mabwysiedig Duw.

Heblaw hyny, elfen arall yn y gallu i fod yn feibion, yw meddu anian plant Duw yn y galon; ac y mae y pechadur yn derbyn hon drwy ei undeb â Christ. Dengys yr Efengylwr Ioan mai y rhai "a'i derbyniasant Ef" yw "y rhai ni aned o waed, nac o ewyllys y cnawd, nac o ewyllys gŵr, eithr o Dduw." Trwy gredu yn Iesu Grist a dyfod i undeb âg ef y mae

dyn yn cael ei eni o Dduw. Nid yw dywedyd fel hyn yn gwneuthur gwaith yr Ysbryd Glân mewn ailenedigaeth yn ddianghenrhaid; canys trwy ddangos Crist i'r pechadur y mae yr Ysbryd Glân yn ei aileni. Mae yr elfen hon yn y gallu i fod yn feibion, yn gystal â'r un a nodwyd o'r blaen, yn dyfod i feddiant dyn drwy ei undeb â Christ. Ac y mae fod y saint yn derbyn anian plant yn eu mabwysiad yn gwahaniaethu y mabwysiad yr ydym yn son am dano oddiwrth fabwysiad fel ei ceir ymhlith dynion. Nid yw mabwysiad dynol ond trefniad allanol neu gyfreithiol, drwy yr hyn y gwneir estron yn fab, gan adael y mabwysiedig o ran ei gymeriad a'i dueddiadau yn gwbl yr un ag ydoedd yn flaenorol, tra y mae y mabwysiad ysbrydol yn gwneuthur dyn yn blentyn i Dduw o ran ansawdd ei galon a thueddiadau ei ysbryd. Y mae y saint yn blant i Dduw, nid trwy gyfrifiad ac o ran y modd yr ymddygir tuag atynt yn unig, ond hefyd o ran eu teimladau tuag at Dduw, ac o ran eu hufudd-dod a'u hymostyngiad iddo. Maent yn blant *i* Dduw am eu bod drwy eu hundeb â Christ wedi eu geni *o* Dduw.

III. Yr Ysbryd Glan a Mabwysiad. Yn eu mabwysiad gan Dduw i fod yn blant iddo ei hun mae y saint yn derbyn yr Ysbryd i breswylio yn eu calonau, fel sêl eu maboliaeth ar y naill law, ac fel ernes o'u hetifeddiaeth ar y llaw arall. Mae hwn yn breswyliad personol o eiddo yr Ysbryd ynddynt. Nid ar gyfrif ei ddylanwadau arnynt, neu ar gyfrif ei effeithiau ynddynt, neu gyfraniad ei rasau iddynt, y dywedir ei fod Ef yn preswylio ynddynt. Am fod yr Ysbryd Glân yn "trigo ynddynt" y dywedir eu bod yn "deml y Duw byw." Ac yn ei lythyr at y Galatiaid (iv. 6) dywed yr Apostol fod preswyliad yr Ysbryd yn y saint yn sêl eu mabolaeth: "Ac o herwydd eich bod yn feibion yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain, Abba, Dad." Ymddengys mai nid anfoniad yr Ysbryd Glân i breswylio yn nghalonau y saint sydd yn eu gwneuthur hwy yn feibion i Dduw; canys dywedir mai *o herwydd* eu bod yn feibion yr anfonodd Duw yr Ysbryd i'w calonau. Ac nid canlyniad eu mabwysiad yn unig, fel y tybia rhai, yw anfoniad yr Ysbryd i breswylio yn y saint; ond y mae gwaith Duw yn anfon Ysbryd ei Fab i'w calonau yn brawf o'u mabwysiad, ac yn sêl arnynt fel plant ac eiddo Duw.

Gan fod yr Ysbryd Glân, fel y mae yn preswylio yn mhlant Duw, yn ernes o'u hetifeddiaeth yn y nef, y mae perthynas agos, ni a welwn, rhwng mabwysiad âg etifeddiaeth y saint. Nid dylanwadau na grasau nac unrhyw gynnyrchion o eiddo yr Ysbryd yn y saint yw yr ernes, ond y Person Dwyfol ei hun. "Glân Ysbryd yr addewid" yw ernes eu hetifeddiaeth hwy. (Eph. i. 13, 14.) Mae Duw yn rhoddi iddynt "ernes yr Ysbryd," neu yr "Ysbryd yn ernes;" canys dywedir y gellir darllen yn y naill fodd neu y llall, yn gymaint a bod y ddau air yn atosodol. (2 Cor. v. 5.) "A'r hwn sydd yn ein cadarnhâu ni gyda chwi yn Nghrist, ac a'n heneiniodd ni, yw Duw; yr hwn hefyd a'n seliodd, ac a roes ernes yr Ysbryd," neu "yr Ysbryd yn ernes yn ein calonau." (2 Cor. i. 21, 22.) Yn eu mabwysiad i fod yn blant i Dduw y mae y saint, gan hyny, yn derbyn yr Ysbryd Glân i breswylio yn eu calonau fel ernes o'u hetifeddiaeth yn y nef.

IV. Mabwysiad a Rhyddid. Yn eu mabwysiad y mae y saint yn cael eu rhyddhâu oddiwrth y teimlad caethiwus o fod dan ddeddf doredig, ac yn derbyn rhydd ysbryd plant. "Canys ni dderbyniasoch ysbryd caethiwed drachefn i beri ofn; eithr derbyniasoch ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad." (Rhuf. viii. 15.) Yr "ysbryd caethiwed, yr hwn sydd yn peri ofn," ydyw yr ymdeimlad o fod yn rhwym i ateb gofynion deddf doredig. Teimlad troseddwr yw yr "ysbryd caethiwed" hwn. Mae dyn yn "wywedig ei wedd" yn ngafael deddf doredig Duw. Trwy undeb â Christ, yr hwn a'n "llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ddyfod yn felldith drosom," cyll y credadyn yr ysbryd caethiwed sydd yn peri ofn, a derbynia yr Ysbryd Glân i breswylio yn ei galon, yr hwn a gynnyrcha deimladau mabaidd ynddo, ac a'i galluoga i lefain, Abba, Dad. Yn ei lythyr at y Galatiaid, dengys Paul fod sefyllfa dyn dan y ddeddf yn gyffelyb i sefyllfa etifedd dan oed, yr hwn "nid oes dim rhagor rhyngddo a gwas." Yr hwn sydd yn aros dan Sinai sydd gyffelyb i Agar a'i mab Ismael, yn gaethion; eithr gorchymynwyd "bwrw allan y wasanaethferch a'i mab" i wneuthur lle i fab y wraig rydd. Ac y mae y ddeddf hyd y dydd hwn yn cenedlu i gaethiwed; eithr "danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf, fel y derbyniem y mabwysiad." Wrth yr hwn sydd wedi credu yn Nghrist gellir dywedyd, "Nid wyt ti mwy yn was ond yn fab." Cyll y cristion deimladau Ismael y caethwas, a meddianna deimladau Isaac y mab. Symudir ef o fynydd Sinai i fynydd Sion, a chyfranoga o deimladau preswylwyr y "Jerusalem hono uchod," yr hon "sydd rydd." Plant yr addewid ydyw y saint, ac am hyny y maent yn rhyddion oddiwrth ysbryd caethiwed yn peri ofn. "Felly, frodyr, nid plant i'r wasanaethferch ydym

md i'r wraig rydd." (Gal. iv.) Mae yn wir fod y desgrifiad hwn a roddir yn y Bibl o ryddid plant Duw yn cyfateb i'r hyn yw y rhyddid hwnw ynddo ei hun yn hytrach nag i'r hyn a deimlir ac a brofir gan y rhan fwyaf o saint. Ychydig, mae yn debyg, yw nifer y saint sydd yn mwynhâu y rhyddid i'r hwn eu galwyd, o leiaf fel y gallent ac fel y dylent ei fwynhâu. Ond nid yw y ffaith nad ydynt hwy yn ei fwynhâu yn gwneuthur y rhyddid ynddo ei hun yn ddim llai. Pe gollyngid caethwas a fuasai wedi bod yn gaeth am flynyddoedd lawer yn rhydd, nid ar unwaith y gallai sylweddoli ei ryddid; er hyny rhydd fyddai. "Rhyddid gogoneddus" yw rhyddid plant Duw, pa un bynag a fodiant hwy ynddo ai ni wnânt. Yn eu mabwysiad symudir hwy o gaethiwed gweision i ryddid plant.

V. TYSTIOLAETH Y SAINT O'U MABWYSIAD. Mae gan y saint ddwy dystiolaeth eu bod yn blant i Dduw: tystiolaeth eu hysbryd eu hunain a thystiolaeth yr Ysbryd Glân. Noda yr apostol y ddwy dystiolaeth hyn yn ei lythyr at y Rhufeiniaid: "Derbyniasoch ysbryd mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad. Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw." (Rhuf. viii. 15, 16.) Er fod ymadroddion yr apostol yn ddwfn a dirgelaidd, eto nid yw yn colli golwg ar y pethau y mae gwahaniaeth rhyngddynt, ac y mae yn ofalus yn ei wahaniaethiad o'r ddwy dystiolaeth y soniwn am danynt sydd gan y saint o'u mabolaeth. Y dystiolaeth sydd gan y saint yn eu hysbryd eu hunain ydyw y teimlad mabaidd sydd ynddynt, neu y llef, Abba, Dad, sydd yn cyfodi o'u hysbryd. Am fod teimladau plant ynddynt tuag at Dduw—am y teimlant gariad tuag at Dduw, ac ymddiried ynddo, ac ymostyngiad iddo—am y cânt y teimladau mabaidd ynddynt eu hunain, cynant y casgliad, yr hwn sydd yn dra naturiol, eu bod yn blant i Dduw. Ni cheir teimladau plant ond mewn plant. Ni cheir teimladau plant Duw ond yn ei blant Ef. Pa le bynag y ceir y teimladau mae yn rhaid fod y berthynas yno. Pa le bynag y ceir y llef, Abba, Dad, mae yn rhaid fod yr hwn sydd yn gallu ei llefain yn blentyn i Dduw. Oni buasai y berthynas ni buasai y llef. Dyma un dystiolaeth sydd gan y saint eu bod yn blant i Dduw—tystiolaeth eu hysbryd hwy eu hunain.

Y dystiolaeth arall sydd ganddynt o'u mabolaeth yw tystiolaeth yr Ysbryd Glân wrth neu i'w hysbryd hwy. Gwir nad yw y dystiolaeth sydd ganddynt yn eu hysbryd eu hunain wedi ei chael ganddynt yn annibynol ar yr Ysbryd Glân; canys efe a gynnyrchodd y teimladau mabaidd ynddynt. Mae yn wir hefyd, fel yr addefa yr esbonwyr goreu, fod yn anhawdd deall pa fodd y dwg yr Ysbryd Glân ei dystiolaeth uniongyrchol ei hun i feddyliau y saint eu bod yn blant i Dduw. "Ni fedrwn ddeall pa fodd y gwneir hyn," ebe Hodge, "mwy nag y gallwn ddeall pa fodd y cynnyrchir effeithiau eraill yn ein meddyliau." Ond er hyny os dywed yr Ysgrythyr yn eglur, fel yn ddiammeu y gwna, fod yr Ysbryd Glân ei hun, ar brydiau ac i ryw ddybenion, yn nesâu at ysbryd dyn ac yn dywedyd wrtho mewn modd diammheuol ei fod yn blentyn i Dduw, dylid credu fod hyny yn bod pa un bynag a ellir ei ddeall ai peidio. Dichon hefyd mai i gyfarfod rhyw amgylchiadau neillduol yn mywyd y credadyn, megys ei ymgymeriad â rhyw waith arbenig dros Dduw ar y ddaear, neu ei alwad i fyd yr ysbrydoedd, y dygir y dystiolaeth hon i'w feddwl. Ond dylid bod yn ofalus i wahaniaethu y dystiolaeth hon o eiddo yr Ysbryd oddiwrth bob rhyw dyb neu fympwy neu ofergoel a all ymgodi yn nychymyg dyn. Tystiolaeth sicr a diammheuol yw yr un a ddygir gan yr Ysbryd.

VI. MABWYSIAD AC ETIFEDDIAETH Y SAINT. Mae y modd y dengys Paul berthynas maboliaeth, neu sefyllfa fabaidd, y saint â'u hetifeddiaeth, yn profi ei fod yn ystyried y faboliaeth yn arwain o angenrheidrwydd i'r etifeddiaeth. "Os mab, etifedd i Dduw trwy Grist." "Ac os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw, a chydetifeddion â Christ." (Gal. iv. 7; Rhuf. viii. 17.) Mae mabwysiad yn sicrhâu etifeddiaeth. Mae dyfod i feddiant o etifeddiaeth y tad yn anwahanol gysylltiedig â maboliaeth ymhlith dynion, oddigerth ddarfod gwneuthur rhyw drefniant annaturiol yn y gwrthwyneb i hyny; ac y mae holl blant Duw yn etifeddion i Dduw yn rhinwedd eu perthynas âg ef drwy fabwysiad. Pe gofynid pa beth yw etifeddiaeth plant Duw, dichon y byddai yn anhawdd ateb yn well na thrwy ddywedyd mai mwynhâd tragywyddol o Dduw ac o sancteiddrwydd ydyw. Mae etifeddiaeth y saint "yn y goleuni." Mae Duw ei hun a'r oll a fedd yn etifeddiaeth i bob un o'r saint. Nis gellir rhanu pethau ysbrydol, ac nid rhanu mân etifeddiaethau o'r etifeddiaeth fawr y mae Duw, ond rhoddi yr oll o'r etifeddiaeth i bob un. Mae y saint yn gydetifeddion â Christ, canys y maent yn frodyr iddo, ac nid yw gywilyddus ganddo eu galw felly. Yr un yw ei etifeddiaeth Ef a'u hetifeddiaeth hwythau: "Fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi." Yr un yw y tangnefedd a fwynheir gan Grist a chan Dduw â'r tangnefedd a fwynheir gan y saint. Dyma

etifeddiaeth plant Duw—tangnefedd Crist a thangnefedd Duw, "yr hwn sydd uwchlaw pob deall." "Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd eto beth a fyddwn; eithr ni a wyddom pan ymddangoso efe y byddwn gyffelyb iddo, oblegid ni a gawn ei weled ef megys ag y mae." (1 Ioan iii. 2.)

---

# Adgofion ac Adroddiadau Addysgiadol.

## Hunangofiant Rhys Lewis, Gweinidog Bethel.

YR AIL RAN.

PENNOD XII.

*Marwnad Ryddieithol.*

CYN i mi ddwyn i derfyniad yr hyn a ystyriwyf sydd yn ffurfio yr ail gyfnod yn fy hanes, a chyn i mi ddyweyd dim am y cyfnod pryd y cefais fy hun yn unig, ac y sylweddolais fy mod yn dechreu ar frwydr bywyd, rhaid i mi sôn ychydig eto am ddau neu dri o gymeriadau sydd eisoes wedi cael sylw nid bychan genyf, yn enwedig un o honynt.

Trwy ystod y tymmor y bu fy mam yn llettya gyda Thomas a Barbara Bartley, derbyniodd y caredigrwydd mwyaf a'r ymgeledd goreu a allasai hi ei ddysgwyl neu ei ddymuno. Ei phrif waith tra bu yn y Twmpath oedd parotoi y ddau hen ben i gael eu derbyn yn gyflawn aelodau eglwysig; ac nid gwaith bychan ydoedd hwnw. Cymerodd iddi amryw wythnosau i'w *coachio*, fel y dywedir, cyn y teimlai yn ddigon hyderus i annog Abel Hughes i'w galw ymlaen am dderbyniad. Pan ddaeth hyn oddiamgylch, bu cryn ddifyrwch yn y seiat. Yr oedd eu hatebion yn syml a gwreiddiol, ac yn peri i rai chwerthin ac i eraill wylo, ac i ambell un chwerthin ac wylo. Ni oddef y terfynau a osodais i lawr i mi fy hun hamdden i gofnodi yr olygfa yn y seiat hono. Wrth ateb rhai cwestiynau edrychai Thomas yn ammheus a hanner ofnus ar fy mam, fel y gwelir ambell hogyn yn edrych ar ei dad wrth adrodd ei adnod yn y cyfarfod eglwysig, a chyfeiriodd ati fwy nag unwaith mewn geiriau fel awdurdod ar yr athrawiaeth. Ar y cyfan rhoddodd Thomas foddlonrwydd lled gyffredinol parthed ei wybodaeth a'i gymhwysder i gael derbyniad. Nid yn hollol mor foddhaol y daeth Barbara drwy yr arholiad. Anhawdd iawn oedd cael dim mwy ganddi hi na'i bod yn meddwl ac yn teimlo "'run fath â Thomas." Eglur ydoedd fod Barbara yn edrych arni ei hunan fel *duplicate* o'i gŵr, ac yn gymaint a bod Thomas wedi ateb yn uniawn mai afreidiol oedd colli dim amser gyda hi. Yr oedd y ddau, fel y sylwais mewn pennod flaenorol, yn cydfyned ac yn cydfeddwl i'r dim, a'r fath undeb a thebygolrwydd rhyngddynt ag sydd rhwng dau lygad ar yr un llinyn. Yn awr wrth i mi eu galw i gof, yr wyf ymron a myned gam ymhellach a dyweyd mai yr un ymwybyddiaeth oedd ganddynt, a bod mwy o *identity* nag o *individuality* ynddynt. Yr oeddynt fel cloc â dau wyneb iddo, bob amser yn dynodi i'r fynyd yr un awr o'r dydd. Ar sail atebion Thomas, derbyniwyd Barbara fel yntau i holl freintiau yr eglwys yn ddiwrthwynebiad; a phan oeddynt yn myned adref y noswaith hono fraich am fraich fel cneuen gongliog, teimlent yn hapus dros ben, a'u calon yn mawrhau y fraint. Edrychasai fy mam ymlaen at hyn gyda dyddordeb a phryder mawr, gan y golygai hi Thomas a Barbara fel ei dysgyblion arbenig. Gwn y teimlai hithau yn ddedwydd nad aeth ei llafur, ei hyfforddiant, a'i gweddïau yn ofer.

Hwn oedd y tro diweddaf i fy mam fod yn y capel. Fel yr awgrymais o'r blaen, yr oedd ei hiechyd er ys amser yn gwywo, a'i nerth yn pallu. "Rhwng yr Euroclydon yma a'r Euroclydon arall," chwedl hithau, yr oedd wedi "ei thosio yn o sownd yn ddiweddar." Prysurwyd ei hymddattodiad gan farwolaeth ddisyfyd Bob. Sylweddolodd fod y ffon y pwysai arni wedi tori, ac nad oedd ganddi hithau nerth nac iechyd i ennill ei bywioliaeth. Yr oedd arni arswyd pwyso ar garedigrwydd ei chyfeillion, ac yn enwedig ar elusen plwyf; ac ymddangosai i mi fel un oedd yn codi ei bys ar angeu ac yn ei wahodd. Nid oedd gan angeu golyn iddi hi, ac yr oedd ei chalon a'i myfyrdodau er ys amser yn cartrefu yr ochr draw iddo. Nid oedd yn ariangar; ac yr wyf yn credu yr edrychai hi ar yr ychydig a gynnilodd tra yr oedd Bob yn ennill cyflog da, a'r hyn a gafodd o glwb y gwaith, a'r hyn a dderbyniodd am ddodrefn yr hen dŷ, fel y tywod yn y gwydr, ac fel ei heinioes-fesurydd. Bydd ambell wraig garedig—a charedig y gwelaf fi yr holl wragedd wrth y pregethwr—ar fore Llun cyn i mi ddychwelyd o'm cyhoeddiad, yn berwi ŵy i mi i frecwast; ac wrth ei gweled yn gwylio y tywod yn y gwydr byddaf bob amser yn meddwl am fy mam. Yn union felly yr edrychai hi ar yr ychydig arian a feddai; ac yr oedd ymwybyddiaeth ynof, pan elai y geiniog olaf allan o'r pwrs, yr elai hithau ymaith. Yn ei dyddiau olaf ni ddyoddefodd nemawr

oenau. Aeth i'r gwely i farw, fel y gwelir yn fynych yn yr orsaf fenyw yn myned o'r gwynt oer i'r *waiting-room* i aros y trên, chan ddangos ei hwyneb yn y drws fel e byddai yn blino dysgwyl. Eto yr oedd el hi ei hunan, yn dawel a hunanfeddiannol. Yr oedd ei hen Fibl a'i ddail rhyddion yn wastadol ganddi yn agored wrth ei ochr ar y gwely, fel pe buasai hi, ag i mi ddilyn y gymhariaeth, yn barhâus yn hwilio ei thocyn, a bu farw â'i hyspectol ar ei hwyneb.

Wel, fy hen fam! gofidiaf yn fy nghalon nad ydwyf yn fardd. Pe buaswn yn perchenogi yr awen wir, canaswn i ti farwnad odidog—marwnad fuasai yn dwyn profion ynddi ei hun ei bod wedi ei saernïo gan fy hiraeth yn ngweithdŷ fy nghalon, gan nad pa ddiffygion fuasai yn perthyn iddi. Eto er nad wyf o'r rhywogaeth etholedig farddol, anfoddlawn ydwyf i fyned heibio heb geisio talu y deyrnged sydd ddyledus arnaf i dy goffadwriaeth—ar y rhaid i mi wneyd hyny mewn rhyddiaith dlawd. A ydyw yn rhywbeth benywaidd, ac yn arwydd o wendid, fod un yn orhoff o'i fam? Os ydyw, yr wyf fi yn fenywaidd ac yn wanaidd iawn. Nis gwn pa bryd y dechreuais gredu am danat mai ti oedd y decaf, yr hoffusaf, a'r oraf o'r gwragedd. Wrth geisio myned yn ol cân belled ag y medraf, yr wyf ymron a chredu fod y syniad hwn am danat ynof pan ddaethum gyntaf i'r byd; nid oes iddo ddechreuad, dybygaf, yn fy meddwl. Nid ffrwyth sylwadaeth ac ymresymiad ydoedd. Oblegid pe felly gallasai fod yn wahanol. Teimlwn fy mod yn perthyn yn nês i ti na thi dy hun, a gwn mai felly y teimlit tithau tuag ataf finnau. Oni charwn i di yn fwy na mi fy hun, ac oni cherit tithau finnau yr un modd? Onid oeddwn yn adnabod dy wyneb flynyddau cyn adnabod yr eiddof fy hun? A phe yr edrychwn y fynyd hon ar wynebau ein dau mewn drych, dy wyneb di a adnabyddwn gyntaf. Pan oeddwn blentyn ar dy fraich ar fin y llyn, a phan geisit gyfeirio fy llygaid i edrych ar fy nghysgod yn y dwfr; dy wyneb di a adwaenwn, y wyneb arall nid adwaenwn. Pa ofal, pa drafferth a gymeraist gyda mi! Cyn i mi allu siarad deallit fy anghenion a'm dymuniadau. Pan oeddwn afiach ni allit gysgu na gorphwyso; pan oeddwn iach a hoew yr oeddit wrth dy fodd. Dysgaist iaith i mi, er nad oeddit ti dy hun yn deall ei gramadeg; a chymerodd i ti flynyddau o lafur i wneyd hyny, ac ni dderbyniaist geiniog o gyflog. Yr hen Omeraeg anwyl ydoedd; ni wyddit ti yr un iaith arall, ac ni chredit fod ei chyffelyb mewn bod. Argreffaist ei llythyrenau ar fy nghof pan oedd fy nghalon yn dyner ac ieuanc, ac nid allwn, pe mynwn, eu dileu. A hyfryd genyf gofio yn awr mai un o'r gwersi cyntaf a ddysgaist i mi mewn sillebiaeth oedd—"I, ac e, ac s, a u." Yr oeddit yn annysgedig, ac o ganlyniad yr oedd dy ragfarnau yn lliosog a chryfion. Prin y credit fod dim yn bod gwerth son am dano tu allan i'r iaith Gymraeg, na chrefydd gwerth ei galw yn grefydd ond ymysg y Methodistiaid Calfinaidd. Er dy fod yn un o'r gwragedd mwyaf darllengar a adwaenais, gallasit yn hawdd gyfrif dy holl lyfrau ar benau dy fysedd: *y Bibl*, *Geiriadur Charles*, *yr Hyfforddwr*, *y Llyfr Hymnau*, *Gwaith Gurnal*, *Taith y Pererin*, a *Chanwyll y Cymry*; ïe, rhaid i mi ychwanegu dau arall, gan nad pa mor ddigrifol o anghymharus, sef *Almanac*, neu *Amseroni Robert Roberts*, *Caergybi*, a *Gwaith Twm o'r Nant*. Dyna nifer dy holl lyfrau; ond yr oedd pob un o honynt yn fudr gan ôl dy fodiau, a mynych gymundeb â'i eiriau, a phob cornel o'i gloriau fel hen gi Mal y Glasdwr, yn moeli ei glustiau. Ni chai dy lyfrau fod yn hir ar y silffau yn nghanol llwch a llaid; pan ddeuai yr anghen, ti fynit hamdden i'w darllen a'u myfyrio. Dodrefnaist dy feddwl â'u cynnwys, fel y gallit bob amser ddyfynu o dy gof ranau helaeth o honynt fel y byddai galwad. Ac yr oeddit mor a mwy cyfarwydd a chartrefol gydag ymadroddion aruchel llyfr *Job*, *Esaiah*, a'r *Dadguddiad*, âg oeddit yn ffeiriau a gwyliau gosodedig yr *Amseroni* a'i glerigwm, "Eira gawn oddeutu'r llawn." Wrth ystyried dy grefyddolder, bum yn rhyfeddu pa ddifyrwch a gaffit ti yn ngwaith y bardd o'r Nant, ag yntau heb fod wrth fodd calon y *Methodistiaid*. Un o anghysonderau cymeriad ydoedd, mi dybygaf. Gwn y darllenit gyda blas y dyrnodiau trymion a roddai yr hen senwawdiwr enwog i'r Personiaid digrefydd, a'r stiwardiaid gorthrymus. Ai Twm a greodd ynot y fath ragfarn at *Eglwys Loegr*? Mae genyf le i feddwl y credit ti ddarfod i'r bardd gael dychweliad at grefydd cyn diwedd ei oes, a chlywais di ddegau o weithiau yn adrodd y llinellau canlynol o'i waith:—

"Caethforwyn fy nghydwybod,
Sydd imi o'i rhadau hynod, yn rhoi dy hanes,
Mai ti yw 'r Prophwyd pena',
Sy a'i ymwared yn Samaria, i'w dda orddiwes;
'Mhob llun darostwng di fy ngwŷn,
Na'd imi drydar am Abna a Pharphar,
Afonydd siomgar fy hagar wlad fy hun;
Tro fi i'r Iorddonen gyhoedd, sef dyfroedd
Mab y dyn;
Nid oes all olchi bryntni f' oes,
Ond gwaed yr Iesu, yr hwn a ddarfu
Drwy angeu drengu, gan grymu ar bren y
groes;
Ow! gad, er imi bechu, Dduw, lechu yn dy
loes.

Ni roddaist, Iesu tyner,
Mo'th werthfawr waed yn ofer, dros fyd anafus, &c."

Ond y llyfr y cartrefit ti ynddo ac y gloddestai dy feddwl arno, oedd y Bibl. Ni byddit byth yn blino ei ddarllen ac yn sôn am ei wirioneddau. Credwyf na ddarfu i ti erioed ammheu am eiliad ei fod yn Ddwyfol, a'i fod yn wir air Duw. Cofus genyf, os dygwyddai i Bob ddim ond awgrymu yn gynnil fod tipyn o gamgymeriad yn nghyfieithiad ambell adnod, y gyrai hyny dy eiddigedd yn wenfflam. Er mor hoff oeddit o'r Parch. ——, oni ddarfu i ti hanner digio wrtho pan ddywedodd efe ar bregeth fod eisieu newid ychydig ar eiriad ryw adnod? ac oni ddywedaist di am dano ar ol hyny wrth Abel Hughes dy fod yn ofni fod llawer o ddysg yn ei yru yn ynfyd? Gwn mai y rheswm penaf nad oeddit yn rhyw orhoff o'r "*stiwdants*" ydoedd ddarfod i un o honynt ryw dro ddyweyd fod ei destun yn well yn Saesoneg nag yn Gymraeg; ac yr wyf yn cofio i ti ddyweyd yn boethlyd nad oedd genyt amynedd i wrando ar brentisiaid o bregethwyr yn ceisio newid gair Duw! Dy anwybodaeth a barai i ti siarad felly; ond dichon i ti gael *credit* yn y nefoedd hyd yn nôd am hyny; oblegid dy zel dros y Bibl, a'th gariad at bob adnod a gair ynddo, a barai i ti fod mor eiddigeddus. A pha ryfedd? Onid y Bibl *fel y mae* a fu ffynnonell dy holl gysuron? Onid ei addewidion *fel y maent* air a llythyren a'th gynnaliodd ymhob profedigaeth a thrallod? Pe llwyddasai rhywun i siglo gronyn ar dy ffydd yn ei ysbrydoliaeth llythyrenol, darfuasai am danat! Yr oeddit wedi gosod dy ymddiried mor llwyr yn ei wirioneddau, ac yn ei garu mor fawr, fel y gallaf yn hawdd gredu yr hyn a ddywedai Thomas Bartley am danat, sef dy fod y fynyd olaf cyn marw yn edrych drwy dy yspectol ar dy Fibl a'i ddail rhyddion fel pe buasit yn anfoddlawn ei adael, ac fel pe buasit yn awyddus am ei gymeryd gyda thi!

Yr oedd cylch dy fywyd yn fychan; ni wyddit ond y nesaf peth i ddim am y byd yn ystyr briodol y gair. Nid oedd genyt ddychymyg am ei faint, ei brysurdeb, a'i ddrygioni. Yr oedd dy ffordd ynddo yn gul, a'i chloddiau yn uchel; ond llwyddaist yn rhyfedd i gerdded ar ei chanol, heb unwaith, hyd y gwn i, syrthio i'r ffos. Ond er culed oedd dy ffordd, yr wyf yn sicr ei bod yn arwain i'r bywyd, fel y mae yr aber fechan, yn gystal â'r afon lydan, yn arwain i'r môr. Fel yr oedd dy ffordd, felly yr oedd dy feddwl: yn gul, ond yn uniawn. Gwyddit cystal ag undyn mai Iuddew yn ol y cnawd oedd y Gwaredwr; ond credit, er hyny, ei fod yn fwy o Gymro na dim arall. Ac yn hyn yr oeddit yn gywir; oblegid oni theimla pob credinIwr o ba genedl bynag, fod y dyn Crist Iesu yn perthyn yn nês i'w genedl ef ei hun nag i un arall? ac onid ydyw hyn yn brawf eglur o'i gymhwysder fel Gwaredwr dyn ymha le bynag ei ceir?

Gan na ddarllenir yr hyn yr wyf yn ei ysgrifenu am danat nes y byddaf finnau fel tithau wedi myned drosodd at y mwyafrif, fel y dywedir, teimlwyf y gallaf ddyweyd y gwir am danat heb fy llesteirio gan wyleidd-dra na gwag rodres. Cynnysgaethwyd di â chynneddfau cryfion, ac yn arbenig â chof rhagorol; a phe buasit wedi cael addysg dda yn more dy oes, nid wyf yn ammheu na fuasit yn gymeriad nodedig. Yn ddiddysg fel yr oeddit, anaml y gallai neb dy dwyllo. Ac eto twyllwyd di unwaith yn fawr; ac oni buasai am hyny ni fuasai y llaw hon yn ysgrifenu crynodeb o hanes dy fywyd—ni fuaswn i mewn bod. Twyllwyd di gan yr hwn a ddylasai fod dy arweinydd a'th gyfarwyddwr—gan yr hwn a ennillodd dy galon a'th serch pan oeddit ferch ieuanc (brydferth, goeliaf fi). Twyllwyd di gan yr hwn a ddylasai fod y ffyddlonaf i ti—gan dy ŵr—gan fy nhad. Ac nid rhyfedd. Yr oedd, mi glywais, yn ŵr grymus a theg yr olwg. Nid oedd yn grefyddwr. Ceisiai gael siarad â thi; ond ni wrandawit ti ar ddyn digrefydd. Daeth i fynychu moddion gras; ond i ba ddyben! O'r diwedd daeth yn aelod yn yr un eglwys a thi. Gallai, yn awr, siarad â thi—yn dyner, yn grefyddol. Ragrithiwr milain-ig! Yr oedd yn dafodlyfn fel yr oeddit tithau, ac yn hyn yr oeddech eich dau yn gymharus. O fel yr oedd efe yn edmygu y pregethwr! y fath bleser a gaffai yn y capel! Yr oedd yn ddyn newydd oddiallan, ond yr oedd lleng o gythreuliaid yn ei galon! Gwrandewaist arno, do! a buasai pedair ar bymtheg a phedwar ugain o bob cant o ferched yn gwneyd yr un fath a thi. Priodaist ef ar ddiwrnod teg a hyfryd yn mis Mai—yn nghanol cawod o anrhegion a dymuniadau da dy gyfeillesau. Ac wedi hyn — ïe, wedi hyn! Duw a thithau yn unig a wyddoch faint a ddyoddefaist, a pha dreialon yr aethost drwyddynt! Am bwy yr ydwyf yn son? Am fy nhad—am fy nhad fy hun—y dyhiryn! Ac y mae yn dda genyf y fynyd hon nad oes genyf gof i mi erioed weled ei wyneb na chlywed ei lais. Ar noswaith nodedig yn fy hanes gwelais unwaith ei ffurf—dim ond ei ffurf—yn y tywyllwch—yn nghwmni un arall a gasawn â fy holl galon.

Wel, fy hen fam anwyl! y fath drugaredd i ti gael crefydd o'r *stamp* oreu pan oeddit eneth ieuanc! Ni ddarfu i'w fryntni a'i dymherau dieflig ef niweidio dim ar dy ffydd yn Nuw! Pan oeddit dan dy

gleisiau gan ei ddyrnodiau creulawn—ac y mae meddwl i ti erioed fod felly yn peri i fy nghalon waedu—yr oeddit ti eto yn gallu gweddïo drosto! Lawer tro nid allit fyned i'r capel am fod genyt "bâr o lygaid duon." Y filain annynol ganddo! Mae fy ngnawd yn crebachu, a fy ngewynau yn tynhâu wrth feddwl am yr hyn a ddyoddefaist. Am bwy yr ydwyf yn sôn, meddaf eto? am fy nhad, a gobeithio na ddeuaf byth i gyffyrddiad âg ef, oblegid os deuaf mae arnaf ofn nad oes genyf ddigon o ras i beidio —— wel. Mor ffortunus i ti, Mary Lewis, i'w ddrygioni ymddadblygu i'r fath raddau nes ei orfodi i ddianc o'r wlad. Bu agos iddo roddi pen ar dy fywyd di laweroedd o weithiau, ac ni feddyliodd am ddianc, ac ni ddychymygodd yr awdurdodau am ei gymeryd i'r ddalfa. Ond pan fu agos iddo a rhoi pen ar fywyd un arall, annhraethol ddystadlach na thi o ran cymeriad, yr oedd yr holl wlad am ei ddal, a phob heddgeidwad yn ceisio ei ffroeni. Diolch i'r Nefoedd! ni welaist di ei wyneb byth mwy; ac ni charit son am ei enw. Yr wyf eisoes wedi cyfeirio at dy dlodi a'th anghen, a'r hyn yr aethost drwyddo ynglŷn â charchariad a marwolaeth ddisyfyd Bob; ond nid oedd, hyd y gwn i, warth nac euogrwydd na llygredigaeth yn gysylltiedig â'r rhai hyn. Pa gur, pa gyni a chaledi a ddyoddefaist cyn i mi ddyfod i'r byd, pan oedd dy dŷ yn ogof herwheliwr creulawn a phenrydd—yr hwn nid ofnai Dduw ac ni pharchai ddyn—nid oes un creadur byw a ŵyr, ac ni ddarfu i tithau hysbysu ond yn gynnil. O ran yr hyn a ddywedaist di wrthyf, ni buaswn yn gwybod y ganfed ran o dy helyntion. Yr oeddwn yn hogyn gweddol fawr cyn i mi wybod dim yn bendant am dy hanes, oddieithr yr hyn oeddwn wedi ei loffa yn awgrymiadau ac edliwiadau fy ngelynion. Yr unig beth a wyddwn i sicrwydd oedd fod rhyw orphenol dda yn perthyn iti; a Bob oedd y cyntaf i fy ngoleuo —a hyny yn y gwely y noswaith y bu farw Seth—wedi i mi adrodd wrtho am y dyn a'm hattaliodd wrth goed y Plas, a'r hyn a ddywedodd efe wrthyf. Yr wyf wedi gofyn y cwestiwn i mi fy hun lawer gwaith a oedd yn bosibl fod genyt ronyn o gariad at yr hwn a ddygodd y fath drueni arnat. O gariad gwragedd! Onid un o'r pethau diweddaf a ddywedaist wrthyf cyn marw oedd, "Os byth y daw dy dad a thithe i wynebe'ch gilydd, treia anghofio ei ddrygioni o, ac os medri di neyd rhw les iddo —gwna. Mae gyno fo ened i fyw byth fel ti a mine; ac erbyn hyn dydi o ddim llawer o bwys sut y daru o ymddwyn ata i, ond y mae o annhraethol bwys iddo fo gael ei gadw. Os byth y gweli di o—a phwy ŵyr na wnei di?—treia gofio fod o yn dad i ti. Yr ydw i fy hun yn madde y cwbl iddo fo, ac yr ydw i'n ceisio gweddïo am i'r Hwn y mae ei faddeuant yn fywyd tragywyddol wneyd yr un peth."

Da y dywedodd Wil Bryan yn ei ffordd ei hun am danat—sef dy fod "fel Job yn sticio at dy gylars yn *first-class*." Ni ddeuwn yn fuan i ben pe yr adroddwn yr holl annogaethau a'r cynghorion a roddaist i mi yn dy ddyddiau olaf. Nid ydwyf heb gofio y gallai rhywun dybied fy mod yn gorliwio dy rinweddau. Mae y ffaith mai ti oedd fy mam yn gwneyd hyny yn bosibl. Yn y fan hon, ni wnaf ond croniclo rhai o dy eiriau olaf wrthyf—y rhai a fuont o help i mi yn ystod fy oes: "Os gelwir arnat i ddyodde yn y byd yma, paid a chwyno, achos mi wneiff hyny i ti feddwl am fyd nad oes dyodde ynddo. Paid a gneyd dy gartre yn y byd, ne mi fydd marw yn fwy o *job* i ti nag wyt ti'n feddwl. Profa bob peth wrth air Duw, ac yn enwedig dy hunan. Cymer y Bibl fel wedder glas i dy ened—os byddi di yn colli blas ar 'i ddarllen o, mi elli fod yn siwr nad oes hindda yn dy aros. Gweddïa am gael byw yn dduwiol, ond paid a dysgwyl cael byw i fyned yn hen rhag i ti orfod marw yn ifanc. Treia gael crefydd na fydd gan neb ddowt am dani, ac na fyddi di dy hun yn 'i dowtio. Un o'r pethe salaf ar y ddaear yw crefydd sâl; mi dy rwystriff di i fwynhâu pethe'r byd yma, a helpiff hi monot ti i fwynhâu pethe'r byd arall. Treia gael crefydd y bydd 'i chynfas hi yn lapio rhywun heblaw ti dy hun. Os gelli di fod yn foddion i achub ddim ond un ened, mi ymwthi ymhellach i'r nefoedd ar ol i ti farw na bydase ti yn werth can' mil o bunnau ac heb neyd hyny. Does gynat ti ddim lle i ddysgwyl ceiniog gan dy berthnase; ond mi elli fod y cyfoethoca yn y wlad mewn gras os ceisi di. Fase dim son am Abram oni b'ai fod gyno fo rwbeth gwell ar 'i helw na chamelod. Mi fydd gynat ti dri gelyn i ymladd â nhw: y byd, y diafol, a thi dy hun, a mi ffeindi mai ti dy hun fydd yr anhawddaf ei goncro. Yn y rhyfel, gofala fod yr holl arfogaeth gynat ti—gweddi, gwyliadwriaeth, a gair Duw. Yr wyt ti yn siŵr o golli'r dydd os na fydd y tri gynat ti. Os cei di nerth i goncro dy elynion yn ystod dy oes, weli di ond 'u gwegil nhw pan ddoi i farw. Yr ydw i yn mynd i dy adel di, ac y mae gen i hyder yn yr Arglwydd fy mod yn llestr trugaredd. Mi ffeindi yn y pwrs sydd yn mhoced y ngown du i *just* ffit o arian i dalu am y nghladdu i. Os bydd o byth ar dy law di neyd rhyw gymwynas i Thomas a Barbara, paid ag anghofio eu caredigrwydd at dy fam. Mi fase cystal gen i a llawer bydase gynat ti dipyn o ddawn

pregethu, a thuedd at hyny. Ond does mo'r help. Treia fod yn ddefnyddiol hefo chrefydd ymha gylch bynag y byddi di—ddifari di byth. Os medra i dy wel'd di o'r byd arall, mi leiciwn dy wel'd di yn flaenor."

Ar y pryd ni ddychymygais mai hwn a fuasai dy gyfarchiad olaf i mi. Y tro nesaf y gwelais di, yr oedd Barbara wedi gwneyd yr hyn a adawsid gan angeu heb ei wneyd, sef cau dy lygaid. Yr oeddit wedi myned ymaith, yn ol tystiolaeth Barbara, fel "diffodd canwyll!" Amlwg ydoedd na fu angeu yn greulawn atat, oblegid gadawsai wên siriol ar dy wyneb—gwên fel yr eiddo plentyn pan yn breuddwydio yn ei gryd. Mwyaf yr edrychwn arnat mwyaf oll y gwênit, fel pe buasit yn ceisio dyweyd wrthyf dy fod yn ddedwydd. Yr oedd dy ruddiau yn ddigrychau ac yn wynion fel yr eira, ac ar draws dy drwyn yr oedd rhês las—ôl dy yspectol pan oerodd dy waed. Wrth dy ochr yr oedd tair calon yn curo yn gyflym a hiraethus wrth feddwl na chaent glywed dy lais mwy; a thair cydwybod yn gorfod tystio ddarfod i ti wneyd yr hyn oedd yn dy allu i'w puro a'u gosod ar lwybr y bywyd; ac er na symudai dy wefusau dychymygwn dy glywed yn dyweyd,

"Mi a ymdrechais ymdrech deg, mi a orphenais fy ngyrfa, mi a gedwais y ffydd: o hyn allan rhoddwyd coron cyfiawnder i'w chadw i mi, yr hon a rydd yr Arglwydd, y Barnwr cyfiawn, i mi yn y dydd hwnw; ac nid yn unig i mi, ond i bawb a garant ei ymddangosiad ef."

Trafferthus a fu dy fywyd; ar rai adegau yr oeddit yn wir dlawd; ond dangosai y dyrfa a ddaeth i dy gynhebrwng fod rhywrai eraill heblaw fi yn gweled rhywbeth yn dy gymeriad gwerth ei edmygu. Ni chafodd Wil Bryan yn ei oes gymaint o'i geryddu ag a gafodd genyt ti; ac eto ei dystiolaeth ef am danat ddydd dy gladdedigaeth oedd "mai *stunner* o wraig oeddit." Mae Thomas a Barbara Bartley erbyn hyn yn hen bobl, ond nid ydynt eto wedi peidio son am danat; ac er nad oes gan Barbara ond "crap ar y llythrene 'run fath â Thomas," nid ydyw wedi rhoi heibio ar brydnawn Suliau roi dy yspectol ar ei thrwyn a throi dalenau dy hen Fibl, fel pe byddai yn ceisio dy ddynwared.

DIWEDD YR AIL RAN.

*Nodiad.*—Pan ddaeth ysgrifiydd Hunangofiant Rhys Lewis gyntaf i law anfonydd y pennodau hyn i'r DRYSORFA, yr oedd efe yn tybied y gallesid cyhoeddi y cyfan mewn deuddeg rhifyn o honi, ac felly i'r gorpheniad fod yn niwedd y flwyddyn. Ond, wele, dyma ail flwyddyn wedi dyfod i ben heb i'r Hunangofiant derfynu. Yr oedd yr anfonydd wedi penderfynu peidio myned ymlaen gyda y rhelyw, oddiar feddwl mai "nid da gormod o ddim." Ofni yr oedd rhag iddo flino y darllenwyr; a pha fodd bynag, yr oedd yn ei flino ei hun wrth orfod adysgrifio cymaint. Eithr, wedi y cwbl, nid oedd wiw iddo ymesgusodi o flaen Llywodraethwr y DRYSORFA, yr hwn a wnaeth iddo, agos er ei waethaf, addaw myned ymlaen eto y flwyddyn nesaf, nes gorphen yr oll a ysgrifenodd Rhys Lewis am dano ei hun a'i gyfeillion, gan sicrhâu fod "bôdd a bûdd" y darllenwyr yn galw am ei barhâd.

---

## I'R DWYRAIN.

### PENNOD III.—O CAIRO I JERUSALEM.

MAWRTH y 10fed yr oeddym yn cychwyn o Cairo i fyned rhyngddom â gwlad yr addewid. Yr oeddem yn cael y *train* i fyned o Cairo i Ismailia, triugain a phymtheg o filldiroedd. Yr ydoedd ein ffordd gan mwyaf trwy wlad Gosen, fel y tybir yn gyffredin mai dyma y rhandir. Yr oedd yr ardal hon, fel y dywedir, yr un fwyaf toreithiog o'r holl wlad yn y dyddiau gynt, megys y dywedai Pharaoh wrth Joseph, "Tir yr Aipht sydd o'th flaen; cyflëa dy dad a'th frodyr yn y mân goreu yn y wlad; trigant yn nhir Gosen." Mae y rhan fwyaf o'r wlad hon yn bresennol yn anialwch, ac yn frymiau symudol o dywod. Mae yr ardal hon yn rhedeg at yr afon Nilus hefyd. Cawn amryw amgylchiadau yn hanes yr Israeliaid yn dangos yn eglur fod y wlad y trigent ynddi yn agos i'r Nilus. "A Pharaoh a orchymynodd i'w holl bobl, gan ddywedyd, Pob mab ar a enir bwriwch ef i'r afon." Gelwir gwlad Gosen hefyd yn wlad Rameses. Yr oeddym wrth groesi'r wlad yn pasio gweddillion hen ddinasoedd trysorau Pharaoh, sef Pithon, a thref arall o'r un enw â'r wlad Rameses. Oddiyma y cychwynodd yr Israeliaid pan yn ymadael â'r Aipht.

*Ismailia.*—Tref fechan ydyw hon ar ochr y *Suez Canal*, oddeutu hanner y ffordd o'r Môr Coch i Fôr y Canoldir. Nid oeddem yn aros yno ond hyd drannoeth; yr oedd yr agerlong yn ein cymeryd i *Port Said*, hanner càn milldir o'r *canal*. Tref fechan ydyw hon ar y pen gorllewinol i'r gamlas; ac yma y mae yn uno â Môr y Canoldir. Gorfu arnom aros yno am ddiwrnod a noswaith, gan nad oedd yr agerlong yn barod i'n cymeryd i Joppa. Felly yr oeddem yn dygwydd bod yno y Sabboth; ac o'r holl Sabbothau dyma y mwyaf anghysurus a gawsom. Nid oedd yn y dref yma yr un lle o addoliad Cristionogol; ond fe ddywedwyd i ni fod gan Eglwys Loegr le bychan yno, ond fod y clerigwr oedd yno yn gwasanaethu yn myned i le arall yn y wlad unwaith yn y mis, ac yr oedd yn dygwydd bod yno y

Sabboth hwn. Nid oeddwn wedi gweled dyn meddw er pan gychwynais hyd yn hyn; ond yr oedd yma lawer yn y cyflwr hwnw. Y mae *Port Said* yn lle y mae llawer o forwyr o'r wlad hon a phob gwlad yn cydgyfarfod wrth fyned trwy y *canal*; ac, fel mae'r gwaethaf, mae yno bob darpariaeth at hudo'r dosbarth yma i ddrygioni.

Mawrth y 12eg, yn hwyr y Sabboth, daeth y llestr M.M. Scamander i'n cymeryd o Port Said i Joppa, mordaith o chwech ugain milldir. Ni bu dim hynod ar y fordaith hon, am ei bod wedi ei gwneyd gan mwyaf yn y nos. Yr oedd y llong yn bur llawn, pob cornel o honi wedi eu llenwi o bererinion Mahometanaidd gan mwyaf, ar eu taith o Mecca yn Arabia, lle y maent hwy yn credu fod eu Duw Allah yn byw, a thalant ymweliad mynych â'r dref gysegredig. Maent gan mwyaf o'r dosbarth isaf, yn byw yn galed, ac yn gwneyd aberth mawr tuag at allu gwneyd y bererindaith yma. Yr oeddynt yn gorfod byw oddiallan ar y *deck* ddydd a nos, ac ar bob tywydd. Yn fore dydd Llun dyma ni yn hafan ddymunol Joppa, a'r hin yn gysurus; ac yr oedd hyny o bwys mawr i ni yma, o achos fod Joppa yn un o'r lleoedd anhawddaf ei gyrhaedd pan fydd y gwynt yn uchel; ac nis gellir glànio yno ond ar dywydd dystaw, a buasai yn rhaid i ninnau fyned ymlaen i Beyrout, a gwneyd ein taith oddiyno; ond yr oedd y tywydd yn ffafriol i ni. Pa fodd bynag, yr oedd yno ddrwg arall; yr oedd *fever* yn dygwydd bod yn rhai o'r lleoedd yr oedd y *steamer* wedi galw; ac felly yr oedd yn rhaid bod mewn *quarantine* am bedair awr ar hugain cyn y cawsai neb fyned i'r làn. Dyma lle y buom ddiwrnod hafaidd yn syllu ar y wlad nad allasem fyned iddi, yn debyg i Moses gynt. Dyfalu yr oeddem oddiar y bwrdd pa un oedd tŷ Dorcas, a thŷ Simon, barcer, lle y cafodd Pedr y weledigaeth ryfedd hono gynt. Yr oeddem yn gwybod ei fod wrth làn y môr; ond gan fod Joppa oll ar làn y môr, yr oedd yn anhawdd penderfynu pa un ydoedd. Eithr ar ol cael y làn, daethant yn ddigon hysbys oll; felly drwy ymholi yr oeddem wedi myned yn lled adnabyddus o Joppa cyn myned i'r làn. Bore dranoeth a ddaeth, ac yr oeddem i fyny oll yn fore yn dysgwyl am ryddhâd; a daeth yr awdurdodau yno yn fuan i'n pasio. Yr oedd yn rhaid i ni sefyll i fyny mor dalog ag y gallem a rhoddi y golwg goreu arnom ein hun, tra y byddai y meddygon yn pasio heibio. Ac yna cawsom fyned i'r làn yn ebrwydd.

Yr oedd yn rhaid bellach i ni wneyd y goreu o'n hamser, gan nad oeddem i aros ond ychydig yn y pentref. Aethom yn gyntaf oll i ben tŷ Simon, meddent hwy; ac y maent yn meddwl llawer o hono yno yn bresennol. Mae golwg hynafol iawn ar yr hen dŷ, a grisiau serth o geryg i fyned i'w ben oddiallan, fel yr oll yno, a'i ben yn wastadedd, ac yn yr awyr agored. Gan ei fod ar fin y môr, mae'r olygfa yn brydferth ar y llongau a'r cychod yn chwareu oddiamgylch, heb sôn am yr olygfa oddiuchod a gafodd Pedr yno. Nid oes yn y dref hon lawer o hynodion i'w gweled, ond ei bod yn hynafol oll. Ei phoblogaeth sydd bum' mil, ac oddeutu mil yn Gristionogion. Fe fernir mai hon ydyw un o'r trefi hynaf yn y byd. Y tro cyntaf yr ydym yn clywed am dani yn y Bibl ydyw, pan oedd Solomon yn parotoi i adeiladu'r deml yn Jerusalem. Gwnaeth efe gyttundeb â Hiram, brenin Tyrus, am goed cedrwydd o fynydd Libanus i adeiladu'r deml; ac yr oedd Hiram i'w cludo i Joppa yn y fargen. Ymhen pum' can mlynedd ar ol hyny, lloegwyd y deml i lawr; a'r peth cyntaf a wnaeth yr Iuddewon ar ol y caethgludiad yn Babilon ydoedd parotoi i ailadeiladu'r deml, gan gymeryd yr un cynllun i gael coed o Libanus ag yr oedd Solomon wedi ei gymeryd yn flaenorol, sef eu cael i Joppa. Hanes arall sydd genym am Joppa sydd mewn cysylltiad â'r prophwyd Jonah yn ffoi o wydd yr Arglwydd; a dengys hyn fod Joppa yn borthladd pwysig yn y dyddiau gynt. Mae Joppa yn dyfod i mewn yn neillduol eto yn y Testament Newydd, sef yn achos Dorcas, ac yn hanes Pedr a'r canwriad. Yr oedd yr hanesion dyddorol hyn wedi peri fod Joppa yn uchel yn ein meddwl bob amser, fel yr oedd cael golwg arni yn hyfrydwch mawr i ni. Y drwg ydyw, ei bod hi, fel yr oll o drefydd y Dwyrain, yn cael ei hesgeuluso a'i gadael yn ddiymgeledd. O herwydd hyn mae'r hen drefydd cysegredig yn colli llawer o'r dyddordeb a fuasai genym ynddynt pe yn fwy trefnus. Gogoniant Joppa yn y dyddiau hyn ydyw yr *orange groves* ynddi. Mae yma gannoedd o erwau yn cael eu ffarmio, pawb ei faes. Tyfant goed ffrwythau—*oranges* yn benaf, a *lemons*, ac *apricots*, pomgranadau, ffigys ac olewydd, a merwydd a phalmwydd. Mae yr *oranges* yn rhagori yn eu maint ar ddim a welais yn un man arall; ond y maent yn eu gwerthu yn naw a deg am geiniog, neu chwech cheiniog y cant. Mae yr olwg ar y perllanoedd hyn o dan eu llawn ffrwythau yn swynol i'r eithaf, pan y mae yr haul yn tywynu arnynt mewn awyrgylch glir. Mae yn debyg mai yr achos fod cymaint o'r gerddi hyn yn ardal Joppa ydyw, am fod yno gyflawnder o ddwfr, yr hyn sydd yn brin yn y cyffredin yn Palestina. Mae gan bawb o honynt y *Persian water wheel*

i godi'r dwfr—cynllun hynod syml—yn cael ei throi yn y cyffredin gan fulod neu ychain.

Bellach yr ydym yn parotoi i ymadael â Joppa, ac yn cychwyn ar ein taith bererinol yn Nghanaan. Yma yr ydym yn cael ceffylau i'n cario, a phebyll i drigo ynddynt tra ar ein taith, a mulod i gludo pob peth angenrheidiol ar gyfer y daith, a gweision hefyd. Yr oedd yr osgordd i gyd yn fawr ond yn drefnus, a chan bawb ei le a'i waith. Nid peth dibwys ydoedd dewis ceffyl da i'w farchogaeth bob dydd am fis. Mae ganddynt yma geffylau da —y *Syrian horses*. Nid ydynt yn rhai mawr ond yn llawn bywyd. Eu trefn ydoedd pwnio y cyfan i fyny ar y mulod wrth gychwyn, ac iddynt hwythau fyned y ffordd nesaf y gallent i'r màn lle byddem yn meddwl pabellu y nos hono, a'u gosod i fyny yn barod i'n derbyn. Yna byddem ninnau yn myned ar ein ceffylau, ac arweinydd a *dragoman*, ac un arall i gymeryd gofal y bwyd a'r dillad. Byddem yn tori ein taith diwrnod yn ei hanner lle y byddai rhyw hynodrwydd, a digon o ddwfr i ni a'n hanifeiliaid, a lle cysurus i orphwys am ychydig oriau ac i gael *lunch*. Yr oeddem i babellu y noswaith gyntaf yn Latroon, deunaw milldir ar y ffordd o Joppa i Jerusalem. Mae dwy ffordd i fyned heb lawer o wahaniaeth rhyngddynt; un drwy Beth-horon a Gibeon, a'r llall drwy Ramlah; a darfu i ni ddewis yr olaf; ac yn Ramlah neu Arimathea yr oedd ein man gorphwys cyntaf, yn ymyl ochr hen dŵr Rhufeinaidd uchel sydd yno. Mae'r ffordd yn lled dda yn y cychwyn, ac yn myned trwy ranau prydferth o'r wlad. Ar ol gadael yr *orange groves*, yr oeddem yn nyffryn Saron. Mae hwn yn wastadedd lled eang, ac yn cael ei lafurio yn well na'r rhan fwyaf o'r wlad. Ar ein dyfodiad i'r dyffryn hwn, ar yr aswy yr oeddem yn pasio lle yr oedd tŷ Tabitha gynt; ac ychydig ymlaen y mae Bethdagon, a Lŷda hefyd, lle yr oedd Pedr yn trigo pan alwyd am dano i gyfodi Dorcas o farw. Yn fuan cyrhaeddasom i Arimathea, a chawsom orphwys ychydig. Nid ydyw hwn ond lle bychan; nid oedd yno sôn am Joseph, y "cynghorwr pendefigaidd," gan neb. Ar ol gadael Arimathea, yr oeddem yn teithio drwy ddyffryn maith Ajalon, lle y gwnaed pethau rhyfedd yn y dyddiau gynt yn adeg rhyfel yno; Josua yn gorchymyn i'r haul a'r lleuad sefyll yn y ffurfafen hyd nes y byddai i'r Israeliaid orphen trechu y Canaaneaid, a hwythau yn ufuddhâu. Cyrhaeddasom i Latroon yn gynnar, a chawsom bob peth wedi ei osod i fyny yn drefnus i'n derbyn; pabell i bob tri, a gwely cul i bob un gysgu arno, a bwrdd yn y canol, a phob llestri angenrheidiol at ein gwasanaeth, a'r cyfan yn *tins*, a phabell arall gyffredin yn *dining room* wedi ei osod i fyny fel pe mewn *hotel*, a phabell arall i'r cogyddion. Byddai y ciniaw yn barod, fel rheol, ar ein dyfodiad i'r gwersyll ar ol ein taith diwrnod. Gan mai hon oedd y noswaith gyntaf i ni yn y pebyll, yr oeddem yn lled bryderus. Nid yw'r lle hwn ond lle bychan dinôd. Dywedir mai ystyr y gair ydyw lladron, ac mai oddiyma yr oedd y lleidr edifeiriol hwnw ar y groes yn ymyl y Gwaredwr; a mynegir fod y lle yn llawn o ladron hyd heddyw. Yr oedd genym filwyr yn gwylied yn barhâus drwy y nos. Mae yr ardal hon yn hynod hefyd am wahangleifion, y rhai sydd â golwg torcalonus i'r eithaf arnynt; rhai â'u haelodau wedi ymadael oddiwrthynt, yn cardota wrth ochrau y ffordd. Y mae yspytai iddynt, *ond nid* arosant ynddynt ond ychydig.

Yr oeddem yn cychwyn yn fore oddiyno dranoeth; a chan nad oedd genym ond deuddeng milldir i Jerusalem, yr oeddem yno yn gynnar. Rhaid addef fod yr olygfa gyntaf a gawsom ar y ddinas sanctaidd yn bell oddiwrth yr hyn y dysgwyliem ei weled. Yr oeddem yn myned i mewn iddi o'r ochr ogleddol trwy Borth Damascus; ac yn agos yno y mae yr *Howard Hotel*, lle yr oeddem yn aros tra yn y ddinas. Er ein bod wedi dyfod yno yn gynnar, ni wnaed dim y diwrnod hwnw ond gorphwyso, gan ein bod yn bwriadu cychwyn bore drannoeth am daith tri diwrnod at yr Iorddonen a'r Môr Marw, a chymeryd ein hamser yn Jerusalem ar ol dychwelyd, er mwyn i ni gael y Sabboth yno. Mawrth 16 cychwynem yn fore, ac yr oeddem i babellu yn Jericho y noson, deunaw milldir o Jerusalem. Yr oeddem i gychwyn trwy Borth Stephan, ac i lawr rhiw serth at a thros afon Cedron, heibio i ochr gardd Gethsemane, ac i fyny ochr mynydd yr Olewydd, ar hyd y ffordd sydd yn arwain i Bethania, yr hen ffordd y bu yr Iesu yn tramwyo llawer ar hyd-ddi pan y byddai yn myned i ymweled â'i hoff gyfeillion, Lazarus a'i ddwy chwaer, oedd yn byw yno. Ar ol cyrhaedd Bethania, yr hon sydd yn agos i ddwy filldir o Jerusalem, yr oedd raid disgyn yno i gael golwg ar y pentref. Nid ydyw ond bychan a thlodaidd, ac yn hynafol iawn yr olwg arno. Dangosasant yn benderfynol yno hen dŷ Lazarus, ac am a wn i nad ydynt yn gywir; y mae yn edrych yn wir oedranus. Dangosent hefyd oddeutu can' llath oddiwrth y tŷ y bedd y bu Lazarus yn gorwedd ynddo. Hen ogof dywyll yn y graig ydyw, a dim i'w weled ynddi ond annhrefn hen feddau. Yr oedd rhaid myned i lawr hyd bump ar hugain o risiau gyda chanwyllau goleuedig yn ein dwylaw.

## ADGOFION AM Y CARNEDDI, BETHESDA.

PENNOD III.

YCHYDIG o hanes dechreuad a chynnydd yr Ysgol Sabbothol, a'r canu, yn nghapel y Carneddi, ynghyd ag "Adgofion" am y naill a'r llall, a fydd genym yn y llythyr hwn.

Mae yn ddiammheu fod llesoldeb yr Ysgol Sabbothol tu hwnt i ddadl ymhell cyn hyn, a hyny trwy ein gwlad yn gyffredinol. Bu adeg pan yr ammheuid yn fawr, a hyny gan brif ddynion, a phrif weinidogion Cymru, y priodoldeb o gynnal yr ysgol ar y dydd Sabboth. Nis gwyddom paham y gwneid hyny. Yr ydym yn credu oni buasai iddi gael ei chynnal ar y Sabboth na buasai Cymru a'i thrigolion yr hyn ydynt yn awr mewn gwybodaeth ysgrythyrol a chyffredinol, yn ogystal ag mewn ymarferiadau crefyddol.

Cyn sylfaenu yr Ysgol Sabbothol yn mhlwyfi Llanllechid a Llandegai, yr ydym yn cael mai tywyll ac anwybodus iawn oedd braidd yr holl drigolion, ac mai gwylmabsantau, gwagrodianna, a chwareuon gwag ac ofer, oedd yn myned â'r holl bobl. Mewn gwirionedd, yr oedd anialwch y wlad yn arswydus. Gwaith y bobl cyn sefydliad yr Ysgol Sabbothol yn y ddau blwyf uchod, at yr hyn a nodwyd, oedd casglu at eu gilydd ar y Suliau i adrodd a gwrandaw hen chwedlau, a hen helyntion gwageddus. I'r sefydliad daionus a gwerthfawr hwn, y mae y cymydogaethau uchod, yn ogystal a Chymru yn gyffredinol, yn ddyledus am chwalu a diddymu y pethau hyn o honynt. Yn sefydliad yr Ysgol Sabbothol, adfywiodd crefydd yn ei holl ranau, blodeuodd y canu yn y cynnulleidfaoedd, syrthiodd gwywdra ar holl arferion llygredig ein gwlad, a newidiwyd nodweddiad cenedl y Cymry drwyddi.

Gyda golwg ar adeg sefydliad yr Ysgol Sabbothol yn ngymydogogaeth Bethesda, cawn mai ymhen tua phum' mlynedd ar ol dechreuad pregethu yn yr ardal y dechreuwyd ei chynnal gyntaf, a hyny yn nghapel bach yr Achub. Yr oedd hyn yn y flwyddyn 1792, neu un mlynedd a ddeg a phedwar ugain yn ol. Cawn mai tua blwyddyn cyn hyn y sefydlwyd hi gyntaf yn Arfon, a hyny yn Bryn'rodyn, gerllaw Caernarfon. Nid oedd ysgol yr Achub ond bechan ac eiddil iawn ar y dechre—dim ond deuddeg o bersonau. Dyma nifer ei haelodau y Sul cyntaf wedi ei sefydlu yn mhlwyfydd Llanllechid a Llandegai. Y gŵyr a'i cychwynodd oeddynt Dafydd Wilson, Llanllechid—Thomas W. Hughes, Tai'nycoed—a William Thomas, Llanllechid. Cyfnerthwyd dwylaw y gŵyr da hyn cyn nemawr o amser trwy gael atynt William Jones, Abercaseg—Richard Jones (ei frawd), Taiduon—a John Humphrey, Tre'garth (tad yr hen batriarch, y Parch. Griffith Jones, Tre'garth). Mae yn debyg y bu W. Jones, Abercaseg, yn fwy llafurus gyda'r Ysgol Sabbothol na nemawr un yn y wlad. Cymerodd lawer o boen a llafur i fyned ar ol y bechgyn i'w cymhell i ddyfod i'r ysgol. Dilynwyd ei lafur â myrdd o fendithion. Fe ddywedir y byddai cymaint o'i ofn ar fyddinoedd y diafol, pa rai a fyddai ar hyd a lled yr ardaloedd yn chwareu eu campau, â phe buasai ganddo warant i'w dal.

Cawn i'r Ysgol Sabbothol gael ei sefydlu yn y Carneddi y Sabboth cyntaf ar ol agor y capel, a hyny tua saith mlynedd a thriugain i eleni. Nid oedd nifer yr ysgol ar y pryd ond tua hanner cant. Cynnyddodd yn gyflym. Byddai yr Arglwydd yn amlygu ei hun yn fynych y dyddiau hyny yn yr Ysgol Sabbothol ar brydiau yn neillduol iawn, fel y byddai yn tori allan yn waeddi a gorfoleddu mawr; weithiau wrth ganu, a phrydiau eraill wrth i William Jones, neu Thomas Jones, Brynllys, holi yr ysgol. Trwy lafur a ffyddlondeb y gŵyr duwiolfrydig hyn, ynghyd a lliaws eraill a'u cynnorthwyent, megys Thos. Rogers, y Chwarel—John Williams, y Chwarel—Owen Jones, *Machine*—Thos. Jones, Braichmelyn—Thomas Owen Pierce, Glanygors, ac amryw eraill diweddarach, cyflawnwyd gweithredoedd nerthol yn y Carneddi trwy offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol. Gallem ddyweyd yn bur naturiol i'r fechan fyned yn fil, a'r wael yn genedl gref. Tystiolaethodd llawer wrth ymofyn lle yn eglwys Dduw, mai trwy y catecеisio yn niwedd yr Ysgol Sul y dylanwadwyd gyntaf ar eu meddwl mewn perthynas i'w cyflwr rhyngddynt â Duw. Tystiodd tri brawd wrth eu derbyn yn flaenoriaid eglwysig yn y Carneddi, mai yn yr Ysgol Sul y gafaelodd y peth cyntaf erioed yn eu meddwl. Caniatäer i ni grybwyll mai nid yn yr un ysbryd âg y mae arholwyr yn yr ysgol y dyddiau hyn yr oedd yr hen bobl ddeugain a thriugain mlynedd yn ol yn holi. Nage, nid mewn ysbryd oer a difater yr oeddynt hwy yn holwyddori. Yr oedd cadw eneidiau deiliaid yr ysgol yn pwyso yn drwm ar eu meddyliau; ac felly, yr oedd Ysbryd Duw yn gweithio yn gadwedigol, er achub dynion trwy eu llafur.

Gan fod ysgol y Carneddi wedi bod fel rhyw foncyff ar yr hwn y tyfodd amryw ganghenau ffrwythlawn, dichon y byddai yn ddyddorol gan rai glywed am y ffrwth toreithiog sydd i'w ganfod yn bresennol ar y gwahanol ganghenau hyny. Wrth y canghenau hyn yr ydym yn golygu, yr achos yn Llanllechid, Penygroes, Jeru-

salem, Ty'nymaes, Hermon, Brynteg, a'r Gerlan.

Tua saith mlynedd a thriugain yn ol, nifer aelodau yr ysgol yn y Carneddi, fel y crybwyllwyd, oedd hanner cant; ond erbyn heddyw, cawn fod nifer yr aelodau trwy y gwahanol ganghenau uchod yn cyrhaedd ymhell uwchlaw dwy fil. Yn y flwyddyn 1840, nifer yr aelodau yn yr holl gapelau uchod oedd 1484. Gwelir fod yr Ysgol Sabbothol wedi cynnyddu mewn pedair blynedd ar hugain dros bedwar cant ar ddeg. Gwelir yn amlwg hefyd mai ychydig iawn mewn cymhariaeth y mae wedi cynnyddu yn ystod y tair blynedd a deugain diweddaf. Nid ydym yn gwybod y rheswm am hyny, os nad ydyw y sefydliad daionus yn cael ei esgeuluso yn ormodol genym fel cenedl y dyddiau hyn. Nid heb lafur mawr y cafwyd yr achos da hwn yn y Carneddi, gystal â'r gymydogaeth yn gyffredinol, i'r wedd ddymunol sydd i'w weled arno; ac yr ydym yn ofni mai effaith y llesgâd yn y llafur hwnw ydyw yr achos o'r adfeiliad sydd i'w ganfod yn rhy amlwg ar yr Ysgol Sabbothol y dyddiau hyn. Ddeugain a hanner can' mlynedd yn ol yr oedd yr Ysgol Sabbothol yn y Carneddi yn un o'r rhai mwyaf llewyrchus a lliosog yn Nghymru. Rhifai bob Sabboth tua'r adeg yma o saith gant a hanner i wyth gant. Coffa anwyl am dani y dyddiau hyny! Yr oedd ei chanu, ei holwyddori, ei chasgliadau, yn gystal a'i dysgu allan, y cwbl ar eu huchelfanau. Mae amryw o'r hen athrawon enwog, ië, nid athrawon am "dri mis," a llai yn aml, fel yn ein dyddiau ni, ond athrawon am ddegau o flynyddau, yn rhedeg yn bresennol o flaen fy meddwl, megys Evan Williams, Bontuchaf—Richard Morris, Cilfodau—John Williams, Coetmor (yr hwn a ddyrchafwyd wedi hyny yn bregethwr da a defnyddiol)—W. Williams, ei frawd (Gwilym Llechid)—Thomas Williams, Cilfodau — John Humphrey, Ciltrefnus — Robert Moses, y Parc—John Pierce, Gerlan—Owen Edwards, Tŷ Capel, &c. Coffa da hefyd am lïaws o'r hen bobl ffyddlawn gydag addysgu y plant, megys H. Evans, Carneddi—J. Rowlands, Nantytŷ—Moses Rowlands, ei frawd, T. Rowlands, Nantygraen — Henry Roberts, Carneddi — Edmund Jones, Tanygarth—Joseph Rutter, Glanrafon, ac eraill. Yr wyf yn cofio y byddai gan amryw o'r hen bobl hyn wïalen fedw gyda hwy bob Sabboth. Llawer a binsiodd yr hen Joseph Rutter dduwiol arnom tua phymtheng mlynedd a deugain yn ol. Er y cwbl byddai yn bleser genym weled y Sabboth canlynol, er mwyn cael myned o dan addysg yr hen bererin da.

Dyna beth arall ag y mae genym goffa da am dano ynglŷn â'r Ysgol Sabbothol yn y Carneddi: y canu rhagorol a fyddai ynddi. Nid canu tônau nad allai y gynnulleidfa eu cydganu y byddent, fel y gwneir mewn llawer o fanau y dyddiau hyn. O na, byddai Robert Moses a Richard Roberts, ac amryw eraill, yn gofalu bob Sabboth am dôn a geiriau fel y gallai yr holl gynnulleidfa eu canu. Yn awr, mewn amryw ysgolion y gwyddom yn dda am danynt y mae Arolygwyr yr Ysgolion, gystal ag arweinwyr y canu, fel pe baent ar eu hegni yn chwilio am bennill a thôn nad all y gynnulleidfa wneyd dim â hwy. Ond yn y Carneddi byddai y gynnulleidfa, fel rhyw saith neu wyth gant o gôr, pawb yn canu gyda'u gilydd. Yr oedd yr Ysgol Sabbothol yn ddengwaith mwy llewyrchus y deng mlynedd ar hugain cyntaf wedi ei sefydlu yn y Carneddi nag y bu ar ol hyny. Credwn fod hyny i'w briodoli i amryw bethau: yn un peth, yn eu gwaith yn cysylltu yr achos â'r pulpud a'r pregethwyr. Yr ydym yn cofio yn dda tua deugain a hanner can' mlynedd yn ol, fel y byddai y pregethwyr yn dyweyd gair ar yr Ysgol Sabbothol o flaen y bregeth. O fel y mae cofio yr hybarch John Prydderch o Fôn, a Robert Owen, y pryd hwnw o Nefyn, yn taraw ar ein cof mor fywiog—fel y byddent hwy yn holi yr ysgol o'r pulpud ar ddechre eu pregethau! Mawr fyddai y son am hyny cyn ac wedi iddo basio. Erbyn hyn y mae y cyfan wedi eu gollwng i lawr yn hollol. Peth arall a fu yn foddion diymwad er llesâu a chynnyddu yr ysgol yn y Carneddi oedd, cadw ysbryd llafur yn fyw mewn darllen, dysgu allan, a gwobrwyo yn helaeth am hyny. Mae yn ddiammheu i Ysgol Sabbothol y Carneddi gyfranu gwerth cannoedd o bunnau fel gwobrau i'r plant a rhai mewn oed am eu llafur. Peth arall a ystyriem yn llesol iawn er llwyddiant yr ysgol oedd, cadw ei gwaith yn ei phethau pwysicaf yn nwylaw yr un rhai. Yn y cyfnod cyntaf, am lawer o flynyddoedd, yr un personau fyddai Arolygwyr yr Ysgol am amser maith. Yr un personau hefyd fyddent wrth y gwaith o egwyddori ar y diwedd, a'r un rhai hefyd yn athrawon ar hyd y blynyddoedd.

Wele gyfrif manwl o Ysgol y Carneddi o Gorphenaf, 1840, hyd Gorphenaf, 1841, sef yspaid blwyddyn. Nifer yr athrawon, 108; athrawesau, 20; holl rif yr Ysgol, 705. Byddai yn saith gant a hanner yn fynych. Dysgwyd o bennodau o'r newydd, 5682; adnodau, 198,917,354; testynau pregethau, 11,337; *Hyfforddwr Mr. Charles*, 898; *Catecism Mr. Owen Jones, Gelli*, 896; *Rhodd Mam*, 2796; pennodau o'r *Cyffes Ffydd*, 11. Ysgatfydd, nid yw pethau yn ymddangos mor rhagorol â hyn yn awr, nid yn unig yn y Carneddi, ond,

fel yr ydym 'yn ofni, yn un man trwy ein gwlad.

Gair neu ddau eto ar Ganu y Carneddi. Fe allai y gallem ddyweyd nad oedd dim canu yn mhlwyfi Llandegai na Llanllechid cyn adeiladu capel y Carneddi, neu tua saith mlynedd a thriugain yn ol. Yr unig fanau yr oedd ychydig o ganu ynddynt cyn hyn oedd hen eglwysydd Llandegai a Llanllechid; a chawn mai anmherffaith iawn ydoedd ynddynt hwythau. Clywsom hynafgwyr yn dyweyd fod canu Llanllechid yn trarhagori ar ganu Llandegai, ond mae yn ymddangos mai digon tlawd oedd yn y naill a'r llall. Nid oedd son am ganu corawl y pryd hwnw. Gyda golwg ar hyny o ganu oedd yn y Carneddi, nid oedd yno yr un arweinydd rheolaidd yn dal cysylltiad âg ef o gwbl. Y gwŷr a fyddai yn arfer blaenori gyda'r canu cynnulleidfaol oeddynt, yr hen Ddafydd Rolant, Nantygraen, a'i frawd Thomas Rolant —W. Parry, Llanllechid—J. Jones (hen lencyn o Sir Fôn)—a G. Ellis, Pantdreiniog. Ymhen rhyw bedair blynedd ar ol adeiladu y capel, daeth Edward Thomas, Rhiwlas, Llanddeiniolen, i fyw i Goed-y-parc; a rhoddwyd arweiniad y canu iddo ef, a hyny mewn cyfarfod eglwysig; ac yr oedd efe yn gymhwys anghyffredin i'r swydd. Hen ddechreuwr canu iawn oedd Edward Thomas. Yr ydym yn ei gofio yn bur dda yn taro ei law ar ochr ei ben, ac yn taro un o'r hen fesurau anwyl a nefolaidd oedd mewn arferiad y pryd hyny, pa rai oeddynt yn trarhagori ar ddim a glywir y dyddiau hyn mewn unrhyw gapel. Dyna lle y byddid ar lawer tro yn *repeatio* yr odl ddiweddaf tua dwsin o weithiau. Yn y màn, wedi eilwaith ac eilchwyl ganu rhyw hen eiriau anwyl felly,

"Y mae 'r gymdeithas yma 'n gref,
Ond yn y nef hi fydd yn fwy,"

i ryw bwynt priodol, caem glywed yr hen Siân Griffith, Abercaseg, a'r hen Ffanny Williams, Waenygwîail, yn dechreu bloeddio "Bendigedig!" ac "O diolch!" nes y byddai pob llygad yn y capel yn orlawn o ddagrau. Ond am y tônau sydd yn cael eu harfer y dyddiau hyn yn ein cynnulleidfaoedd, pe cenid hwy trwy'r nos, ni welem ddeigryn o lygaid neb. Fel hyn bu E. Thomas yn arwain y canu am amryw flynyddau, sef hyd nes yr adeiladwyd capel Penygroes, pryd y symudodd o'r Carneddi yno, ac ymgymerodd â'r unrhyw swydd yno drachefn.

Yn y flwyddyn 1821, sef dwy flynedd a thriugain yn ol, daeth Robert Williams, o Cae-aseth, Talybont, gerllaw Conwy, yn ŵr ieuanc rhinweddol a defnyddiol iawn, i weithio i'r gymydogaeth; a chan ei fod yn dra medrus yn y gelfyddyd o gerddoriaeth, dechreuodd o ddifrif ar y gwaith o addysgu y bobl ieuainc ynddi. Sefydlodd gymdeithas ganu i hyfforddi yn y gelfyddyd, ac i addysgu tônau ac anthemau cysegredig. Coffa da am lawer o'r anthemau hyny! Pwy wnaeth anthemau mor anwyl a chysegredig a'r 'Hen Anthem Fawr,' "Pâr i mi wybod dy ffyrdd, O Arglwydd," gan Dafydd Harries, Carno, a'r 'Hen Anthem 20fed,' "Gorfoleddwn yn dy iachawdwriaeth di," &c., gan John Williams, Dolgellau; hefyd, "Arglwydd, chwiliaist ac adnabuost fi," gan Edward Jones, Dolydd-byrion; gyda "Cyfodwch, bendithiwch yr Arglwydd eich Duw," gan John Ellis, Llanrwst? Gresyn oedd i'r anthemau cynhyrfiol uchod gael tynu eu hysbrydoedd o honynt gan ryw ddosbarth hunanol trwy eu hail gynghaneddu. Clywed canu yr anthemau uchod a'u cyffelyb a barodd i'r diweddar enwog John Elias, saith mlynedd a deugain i eleni, ddyweyd yn nghapel Bethel, Môn, un nos Sabboth, pan yn gwneyd sylw ar ganu mawl,—"Bobl, os dymunech chwi gael cynllun o ganu da—canu â'r ysbryd ac â'r deall—ewch i gapel y Carneddi, yn Sir Gaernarfon. Nid wyf yn dysgwyl clywed gwell canu tu yma i'r nefoedd nag a glywais yn y capel hwnw." Tybygem na ddywedem ormod wrth ddyweyd fod canu y Carneddi wedi bod, ddeugain a hanner can' mlynedd yn ol, yn trarhagori ar ganu un gynnulleidfa yn Ngogledd Cymru.

Credwn y cydsynia pawb i ddyweyd mai Robert Williams, Cae-aseth, yw *tad* canu cysegredig ac eglwysig yn Llanllechid a Llandegai. Yn fuan wedi iddo ddyfod i'r gymydogaeth, dechreuodd egwyddori y bobl ieuainc—rhai o bob cwr o'r ddau blwyf; a gellir gyda phriodoldeb mawr ei alw yn dad cerddoriaeth y ddau blwyf. Trwy ei lafur, ei ddiwydrwydd, a'i ffyddlondeb, meithrinodd yn ardal y Carneddi a'r ardaloedd cylchynol lawer o ddynion a fu o les a bendith annhraethol i achos crefydd. Fe allai y goddefir i ni enwi rhai o brif ddysgyblion Robert Williams ar y pryd:—Robert Moses, Parc—John Parry, Carneddi—Richard Parry a John Parry, Llidiart y gwenyn—Griffith Rowlands *(Asaph Bethesda)*—John Davies, Ffynnon Bach—John Davies a Morris Davies, Ty'n-tŵr—Hugh Jones, Llandegai—John Williams *(Gorfyniawc o Arfon)*, Talybont—a John Evans, Bontuchaf. Gallem ddyweyd i amryw o'r gwŷr hyn gyrhaedd cryn enwogrwydd fel cerddorion a llenorion. Yn yspaid y saith mlynedd y bu R. Williams yn byw yn yr ardal, cynnyddodd y canu yn anghyffredin. Byddai efe yn cynnal cyfarfodydd yn wythnosol — y naill i addysgu cerddoriaeth, un arall i egwyddori mewn duwinyddiaeth, a'r trydydd i

ddysgu grammadeg. Enwogodd amryw eu hunain yn y gwyddorau uchod, yn gwbl trwy ei hyfforddiant ef. Ond, yn nghanol ei ddefnyddioldeb, daeth yr alwad am dano i fedi o ffrwyth ei lafur. Cymerwyd ef i ffordd yr holl ddaear yn 1828, pan nad ydoedd ond 37 mlwydd oed, a hyny trwy gael dyrnod marwol yn ei ben yn chwarel Cae-braich-y-cafn. Noswaith ei gladdedigaeth, mewn cyfarfod eglwysig yn y Carneddi, dewiswyd y diweddar frawd galluog, Robert Moses, i gymeryd arweiniad y canu corawl yn ei le ef; a chawn iddo wasanaethu y swydd gyda ffyddlondeb digyffelyb am yr yspaid maith o bymtheng mlynedd ar hugain. Coffa da am yr hen gyfarfodydd canu hoffus a gynnelid genym bob nos Sadwrn, am ddegau o flynyddau! Byddwn yn teimlo hiraeth yn fynych am yr hen gyfarfodydd cynhes hyny. Yn y flwyddyn 1862, rhoddodd R. Moses ei swydd fel arweinydd y canu o'i ofal i'r eglwys, pryd y dewiswyd yr hen frawd Richard Roberts, Llidiart y gwenyn (Tyddynelen gynt) yn ei le. Ymhen y flwyddyn ymadawodd yntau i gymeryd arweiniad y canu yn nghapel newydd Brynteg, yr hyn a fu yn golled annhraethol i'r achos yn y Carneddi. Yn ei le dewiswyd dau ŵr ieuanc tra medrus a galluog, sef Morris Evans, Llidiart y gwenyn, ac Evan Parry, Frondeg.

Gwelwn fod ein "hadgofion" yn rhedeg yn faith; a rhag ofn ein bod yn trespasu ar amynedd ein darllenwyr, ni a derfynwn ar hyn, er y buasem yn caru gwneyd ychydig sylwadau ar amryw bethau eraill, megys y cyfarfodydd pregethu blynyddol, y cyfarfodydd gweddïo nos Lun cyntaf o'r mis a'r bore Sabboth, a hyny er ys dros driugain mlynedd. Ni a gawn y byddid yn arfer cynnal cyfarfodydd pregethu blynyddol yn nghapel bach yr Achub cyn adeiladu capel y Carneddi. Cynnelid hwy y pryd hyny ar ddydd Iau y Dyrchafael. Wedi adeiladu y Carneddi symudwyd y cyfarfodydd blynyddol yno, a chynnaliwyd hwy yr un amser hyd y flwyddyn 1831, pryd y newidiwyd yr amser i wyliau y Sulgwyn; ac er y pryd hwnw dyma yr amser y cynnelir hwy bob blwyddyn. Yr ydym yn cofio gweled pethau mawrion yn cael eu gwneyd ynglŷn â'r cyfarfodydd hyn. Gwelsom y dynion mwyaf annuwiol yn yr ardal yn gweddi am eu bywyd yn y cyfryw gyfarfodydd.

Gyda golwg ar y cyfarfodydd gweddïo hefyd, gallem ddyweyd i bethau mawrion gael eu gwneyd trwyddynt hwythau: y cyfarfodydd bore Sabboth—y cyfarfodydd misol—cyfarfodydd y merched—a chyfarfodydd y bobl ieuainc. Cyfarfodydd yn tynu sylw y Nefoedd ydyw'r cyfarfodydd gweddïo: "Wele y mae yn gweddïo!" Yr oedd yr apostolion yn teimlo angen am weddïau eu brodyr; a chredwn y gellir codi y rhai iselaf o weinidogion yr efengyl i fod yn nerthol a llwyddiannus trwy y cyfryw gymhorth. Mae yn ddiammheu fod y cyfarfodydd hyn wedi bod o ddirfawr fendith i'r ardal, yn ogystal ag yn help neillduol i weinidogion parchus yr efengyl.

Gallem ddyweyd cymaint a hyny wrth derfynu ein hadgofion, mai amlwg yw fod gwir grefydd yn meddu ynddi ei hun elfenau bywyd a chynnydd. Nid oedd crefydd yn yr ardal hon ar y cyntaf ond megys gronyn o hâd mwstard; *ond erbyn* heddyw, wele, y mae yn bren mawr, a'i geinciau yn ymestyn i bob cyfeiriad, a'i ffrwyth yn ysgwyd fel Libanus; a hawdd y gallem ddyweyd fod miloedd yn eistedd dan ei gysgod, a'i ffrwyth yn *felus* i'w genau. Gellir dyweyd y geiriau *hyny* yn dra phriodol am yr ardal*oedd hyn*: "A'r crasdir a droir yn llyn, a'r tir sychedig yn ffynnonau dyfroedd." "Yr anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'u plegid, y diffeithwch hefyd a orfoledda ac a flodeua fel rhosyn."

LLECHIDON.

*Roewen.*

---

# Egluriadau a Gwersi Ysgrythyrol.

### PROPHWYDI Y TESTAMENT NEWYDD.

II.

Y MAE yn amlwg fod llawer o lenyddiaeth brophwydoliaethol oesoedd yr hen oruchwyliaeth heb fod i mewn yn nghanon yr Hen Destament. Cyfeirir ni yno at eiriau Nathan y prophwyd, geiriau Gad y gweledydd, prophwydoliaeth Ahïah y Siloniad, gweledigaethau Ido y gweledydd, geiriau Semaiah y prophwyd, a chyfansoddiadau prophwydol eraill, y rhai nad ydynt genym yn y gyfrol sanctaidd. Felly hefyd yn ddiau y mae gyda golwg ar lïaws o brophwydoliaethau yr oes apostolaidd, y rhai nad ydynt i'w cael yn y Testament Newydd. Ni a welwn ddarfod "i lawer gymeryd mewn llaw," hyd yn nôd o flaen Luc, i "osod allan mewn trefn" hanes gweithredoedd a geiriau Crist (Luc i. 1). Nid oes genym ni ond lloffion grawnwin ysbrydoliaeth; ond y mae'r lloffion hyny yn well na chasgliad grawnwin doethineb y byd hwn. Trwy "ysgrythyrau y prophwydi" y "dadguddiwyd y dirgelwch,

yr hwn ni soniwyd am dano er dechreuad y byd" (Rhuf. xiv. 25, 26).

Daliwn sylw ar yr hyn a ddywed Pedr yn ei Ail Epistol ar hyn. Yr oedd efe, a'r dysgyblion eraill, pan yr oeddynt gyda Christ yn agos i Jerusalem, wedi "tybied yr ymddangosai teyrnas Dduw yn y fan." Ond yr oedd efe wedi dysgu yn wahanol erbyn hyn, ac yn credu fod yn ngolwg Duw, "un dydd megys mil o flynyddoedd a mil o flynyddoedd megys un dydd." A oedd efe, ynte, wedi rhoddi i fyny ei obaith? Ai addef y mae iddo fyw mewn byd o freuddwydion? O na, medd efe, "Nid gan ddilyn chwedlau cyfrwys yr hysbysasom i chwi nerth a dyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist [yr ail ddyfodiad, nid y cyntaf], eithr wedi gweled ei fawredd ef â'n llygaid." Yr oedd yr hyn a ganfyddodd yn ngweledigaeth "y mawr ragorol ogoniant," pan yr oedd efe ac Iago ac Ioan gyda eu Hathraw mawr "yn y mynydd sanctaidd," wedi argraffu ar ei feddwl yr ernes a'r sicrhâd o ail ddyfodiad gogoneddus yr Iachawdwr. Ond nis gallai hyny, oedd o natur mor neillduol, ddim bod i eraill o ansawdd mor sicrhaol ag yr ydoedd iddo ef; ac am hyny mae yn apelio at dystiolaeth o ryw arall: "Y mae genym air sicrach y prophwydi," neu, fel y dylid darllen, medd un o feirniaid dysgedig ein dyddiau ni, "Y mae genym eto yn sicrach y gair prophwydol." Y gair hwnw yn ei nerth a'i awdurdod, yn dwyn i'r amlwg ddirgelion calon dyn, ac yn dadleuu, mewn rhan o leiaf, yr amgylchiadau mawrion dyfodol, ydoedd y sicraf o'r holl brofion fod yn yr eglwys ddylanwad goruwchnaturiol a Dwyfol. "Yr hwn," medd Pedr, "da y gwnewch fod yn dal arno, megys ar ganwyll yn llewyrchu mewn lle tywyll." Yr oedd cymylau tywyllion yn ymgasglu ar y pryd; athrawon yr eglwys wedi eu lladd, neu yn agos i angeu, y ser yn syrthio o'u cylchoedd; ond yr oedd y llewyrch hwn eto yn aros, yn llosgi ac yn goleuo, megys gyda Ioan Fedyddiwr, yn arwain ac yn gwahodd ymddiried. Y cynghor i ddal ar y gair prophwydol sydd adsain yr hyn a ddywedai Paul, "Na ddirmygwch brophwydoliaethau." Ac fel y dywedai Paul, "Prophwydoliaethau, hwy a ballant," felly y dywed Pedr: Y mae i'r gair prophwydol ei derfyniad: "Hyd oni wawrio y dydd, ac oni chodo y seren ddydd yn eich calonau chwi." Nid Haul y cyfiawnder, ymddangosiad personol gogoneddus y Gair a olygir, ond y seren sydd yn rhagredegydd y dydd goleu, "y seren fore" a rydd efe i'w wasanaethydd ffyddlawn. Ac y mae'r seren hon yn codi, nid yn y byd allanol sy'n llawn cymysgedd, ond yn nghalonau credinwyr.

Gallem gymeryd y mater hwn yn un o'r profion gwerthfawr o wirionedd Cristionogaeth. Yr ydym ymhob dalen o'r Testament Newydd yn gweled ôl dylanwad rhyfeddol, dirgeledig, a Dwyfol; dylanwad ar ddynion heb eu parotoi iddo trwy enedigaeth neu addysg ysgoleigaidd,—i rai nad oeddynt brophwydi na meibion prophwydi, ond yn hysgodwyr, pobl wladaidd, ie, rhai yn gaethweision; dylanwad yn rhoddi awdurdod ar galonau dynion nad oedd athronwyr ac areithwyr wedi ei gael arnynt; dylanwad oedd yn arwydd i'r rhai digred, ac yn adeiladu y credinwyr. Dyma un gyfrinach o nerth yr eglwys i orchfygu y byd; ac nid rhyfedd fod pagan digred, annysgedig, wrth brofi y "prophwydo" yn gwneyd dirgelion ei galon ef yn amlwg, yn gwaeddi oddiar lawr, "Y mae Duw yn wir ynoch!"

---

DIARHEBION xvi. 16: "Cael doethineb, O mor well yw nag aur coeth! a chael deall, mwy dymunol yw nag arian."

YN amser rhyfel rhwng dwy genedl arforol, attafaelwyd llong ar y môr gan long elynol. Aeth nifer o'r gorchfygwyr, gyda'u llywydd, ar fwrdd y llong a orchfygwyd; a gorchymynasant i'r dwylaw perthynol iddi ei llywio tua'r pwynt agosaf yn ngwlad y buddugwyr. Yr oedd yr yspail a enillwyd yn werthfawr iawn; ac yr oedd y gorchfygwyr wrthi yn brysur yn casglu a chyfrif y trysorau, a threfnu eu hamrywiol gyfranau, gan adael gofal y llong i'w phobl ei hun. Y rhai hyny, gan eu bod hwy yn cael trin y llyw, oedd yn foddlawn i'w gwrthwynebwyr gael trin yr arian yn ddirwystr. Ar ol hirnos dywyll, gyda'r awel o'u tu, wele y morwyr a orchfygwyd yn ddi-dwrf ar godiad y wawr yn rhedeg y llong i borthladd yn eu gwlad eu hunain. Yn awr, dyma y rhai oedd yn orchfygwyr ychydig oriau yn ol, bellach yn gaethion eu hunain. Felly yr oeddynt yn colli yr holl aur yr oeddynt mor awyddus i'w feddiannu, ac yn colli eu rhyddid hefyd. Yn yr amgylchiad hwnw, O mor well oedd gafaelu yn y llyw oedd yn arwain y llong, nag yn yr arian a gludid ynddi! Pan yr oedd y rhai oedd gyda'r arian, ac yn gadael llonydd i'r llyw, yn gorfod yn y diwedd golli yr arian, yr oedd y rhai oedd gyda'r llyw, ac yn gadael llonydd i'r arian, yn cael yr arian yn ol, a'u rhyddid hefyd. Daethant adref heb golli dim o'u cyfoeth.

Yn debyg i hyna, y mae y rhai sydd yn gwneyd aur ac arian yn brif nôd, yn cael colled ddyblyg, tra y mae y rhai sydd yn meddu y ddoethineb oddiuchod, a'r deall da a ddyry ras, yn sicrhâu elw dyblyg. Ni fuddia yr aur, sydd yn myned â bryd

cymaint o ddynion ddim iddynt, os na bydd mordaith eu bywyd yn cyfeirio tua'r nef fel cartref. Eiddo Duw yr aur a'r arian; ac os credwn yn Mab Duw bydd pob peth yn eiddom ni, a'r byd yn eu mysg.—*William Arnot.*

# Bwrdd y Golygydd.

## MARWOLAETH Y PARCH. DR. WILLIAM REES.

DYMA y newydd prudd a ddisgynodd fel y plwm ar galonau holl Anghydffurfwyr Cymru, a'r Cymry yn Lloegr, ac ar laweroedd gyda hwy: DR. WILLIAM REES—*Gwilym Hiraethog*—wedi ymadael â'r byd hwn bore Iau, yr 8fed o Dachwedd! Er iddo gyrhaedd henaint teg, nid oedd neb o honom yn barod i'w golli, gan fod ei feddwl yn para mor ieuanc a bywiog, ac yntau yn cael ei gyfrif fel yr hwn oedd mewn gwirionedd yn Dywysog Cymru. Yr oedd yn cyrhaedd yr eilfed flwyddyn a phedwar ugain o'i oed ar y dydd y bu farw, ac felly, fel y sylwodd un o'i gyfeillion, yn cael cadw ei ddydd genedigaeth yn un o drigfanau ardderchog tŷ ei Dad nefol. Bu Golygydd Y DRYSORFA yn ymweled âg ef ryw ddeng niwrnod cyn ei farw. Yr oedd y pryd hwn yn eistedd yn ei lyfrgell, yn ymddyddan yn rhydd a siriol, ac addfwynder ac amynedd Cristion yn dysgleirio ynddo; ac ychydig a feddyliodd yr ymwelydd wrth ymadael na chaffai weled ei wyneb ef mwy. Nid ydym y tro hwn am ymhelaethu ar ei ragoriaethau fel rhyddfrydwr, bardd, llenor, ac yn enwedig fel pregethwr, gan fod ein cyfeillion wedi darllen llawer yn y gwahanol newyddiaduron am dano eisoes, ac y cawn, fel yr ydym yn hyderu, amryw bethau i'w cofnodi am dano yn nghorff y flwyddyn nesaf. Er mai Annibynwr ydoedd o ran yr enwad eglwysig y perthynai iddo, yr oedd yn ei flynyddoedd olaf, ar ol rhoddi i fyny ei ofal gweinidogaethol, yn pregethu yn fynych, os nid fynychaf, gyda'r Methodistiaid Calfinaidd; ac yn un o'u capelau hwy, sef capel Fitzclarence, Liverpool, y traddododd ei bregeth olaf, a hyny ar destun tra phriodol: Psalm lxxii. 18—20. Yr oedd efe y flwyddyn ddiweddaf wedi colli drwy angeu, ei ddwy ferch oedd wedi cydfyw âg ef drwy eu hoes, am ba rai y dywedai, "Cwympodd dwy ffon fy henaint o'm dwylaw yn ebrwydd y naill ar ol y llall, â'm pwys ar y rhai y gobeithiaswn y cawn hobian i'r bedd o'u blaen hwy; ond fel arall y bu. Do, do! machludodd y ddwy seren siriol a oleuent ffurfafen gauaf fy henaint; sychodd y ddwy ffynnon löew a darddent ar fy aelwyd fechan, o'r rhai yr yfwn gysur a dyddanwch teuluaidd yn niffeithwch y dyddiau blin." Ac wedi hyny cystuddiwyd ef ei hun gan boenau corfforol trymion. Ond erbyn hyn y mae efe, ag i ni ddefnyddio ei eiriau ei hun,

> "Yn llon ger bron ei Brynydd,
> A hollach bellach y bydd."

## CYMDEITHAS GENADOL GARTREFOL GOGLEDD CYMRU.

DA oedd genym weled "*Observations on the Home Mission Work of the Calvinistic Methodists of North Wales, being the Introductory and General Remarks to the Annual Report for* 1882, *by the Secretary.*" Cyfieithwyd yr adroddiad i'r Saesoneg ac argraffwyd ef ar gais Henaduriaeth Seisonig Siroedd Lancaster, Caerlleon, Fflint, a Dinbych. Ymddangosodd yr Adroddiad Cymraeg ynglŷn â'r DRYSORFA am fis Gorphenaf; ac yr oedd pawb a'i darllenodd yn rhoddi y ganmoliaeth uchaf iddo. Nid oes yma yn Saesoneg ond "Yr Adroddiad," gan y caed manylion hanes y Gorsafau Seisonig yn iaith y Saeson gyda'r un Cymraeg; a hyderu yr ydym *y darllenir* yn fanwl, ac yr ystyrir yn ddifrifol, *ei gynnwysiad* gan ein holl eglwysi yn y Gorar. Yn y cyfamser, gan ei bod yn awr yn adeg y casgliadau, da fyddai i'r cynnulleidfaoedd Cymreig droi eto at yr Adroddiad. Yn briodol y dywed, "Os ydym o'r dechre wedi bod yn sicr a diymmod yn ein cefnogaeth i'r Gymdeithas Genadol Gartrefol, prin y gellir dyweyd ein bod eto wedi dyfod yn helaethion yn y gwaith hwn. Y mae'r gwaith yn sicr yn fawr—yn annhraethol fwy nag y mae ein cyfraniadau yn ein galluogi i'w gyflawni."

## YSWIRIANT CAPELAU.

MR. GOLYGYDD,—Gyda'ch caniatâd, dymunaf gyfeirio darllenwyr Y DRYSORFA at adroddiad "Cymdeithas *Yswiriol* y Wesleyaid" am y flwyddyn yn diweddu Gorphenaf 15fed, 1883. Tra y dengys y *premiums* gynnydd o £150 5s. 9c., yr oedd y colledion yn llai na'r flwyddyn flaenorol o £1076 3s. 1c. Nid oes, dybygwyf, le i chwi roi yr holl adroddiad i mewn, er mor ddyddorol a fuasai hyny. Ond gwelir fod y Gymdeithas yn werth £18,140 4s. 9c.; ac wedi yr holl daliadau, ni a gawn,—"*Amount transferred to Reserve Fund,* £2,500."

Pa bryd y gwneir rhywbeth cyffelyb gan y Methodistiaid Calfinaidd yn Nghymru?

H.

*Liverpool.*

## MULOD AC ASYNOD.

BARCHEDIG SYR,—Y mae yn ddrwg genyf fy mod wedi peri anghydwelediad rhwng Mr. Tomos Meirion a'i gyfaill gyda golwg ar y creaduriaid uchod. Yr oeddwn yn eu henwi ar y ddau wahanol enwau yn yr un frawddeg, yn gwbl i geisio egluro i ddarllenwyr Y DRYSORFA pa greaduriaid oeddynt; o achos yr oeddwn yn gwybod eu bod yn cael eu galw yn y wlad hon yn fulod *(donkeys)*; ond yn y wlad hono gelwir hwy wrth yr enw cyffredin asynod, ac y maent wedi bod yn adnabyddus

rth yr enw hwnw bob amser yno. Y mae mym hanes am yr Arglwydd Iesu yn marchgaeth ar asyn i Jerusalem; ac y maent yn hau yn yr un wlad hyd heddyw, ac yn wer o gymhorth i deithwyr ac eraill pan y ydd gofyn am danynt. Ond am y mulod ewn gwirionedd *(mules)*, y creadur cymysgyw a elwir genym ni y bastard-mul, y mae awer o honynt hwythau yn yr Aipht a hanaan. Eithr anaml y gwelir neb yn archogaeth arnynt. Ond yn gyffredin y aent yn gwneyd gwaith caletach: gweithio r y tir a chario beichiau trymion. Yr oedd n ein hosgordd ni nifer mawr o honynt, i ario'r pebyll o fan i fan, a'r ymborth a'r *ggage*. A chreaduriaid gwasanaethgar ydnt, a chelyd, a hirhoedlog. Fe allai y bydd yn o eglurhâd yn ddigon i Mr. T. M. a'i yfaill.

E. OWEN.

*Bootle.*

---

Y LLYTHYR-GOD A CHLUDIAD Y DDWY DRYSORFA.

N y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf, archyd i mi, mewn undeb â chyhoeddwyr y dwy DRYSORFA, wneyd ymchwiliad i drefnadau y *Parcels Post*, er deall a fyddai yn osibl gwneyd defnydd o hono i gludo ein yhoeddiadau misol i'r gwahanol ddosbarthyr. Gwedi ymchwiliad brysiog, darfu i ni ysbysu pwyllgor a gyfarfu yn yr Amwythig, buasai y draul gyda'r *Parcels Post* gymaint n ychwaneg, fel ag y byddai yr holl elw a eir oddiwrth ein cyhoeddiadau misol yn cael l lyncu i fyny mewn costau cludiad, ac nad oedd dim i'w wneyd ond glynu wrth y dull resennol. Pa fodd bynag, cawsom orchyyn i wneyd ymchwiliad manylach, a mynu gwybod beth fyddai y draul ychwanegol ar gyfer pob Cyfarfod Misol, fel y gallai y gwahanol Gyfarfodydd Misol, os gwelent hyny yn briodol, gael y ddwy DRYSORFA gyda'r *post* trwy dalu y gwahaniaeth. Erbyn hyn yr ydym wedi gwneyd ymchwiliad mor fanwl ag y medrem. Nis gallasem gael allan beth fyddai y draul gyda'r *post* i'r Cyfarfodydd Misol canlynol—Liverpool, Brycheiniog, Dehau Aberteifi, Caerfyrddin, Meirionydd (Dwyrain a Gorllewin), a Môn, am fod y ddwy DRYSORFA yn cael eu hanfon i bob un o honynt yn un sypyn mawr, ac nas gŵyr y cyhoeddwyr i ba nifer o fân sypynau y maent yn cael eu dosbarthu. Wele daflen o'r draul bresennol yn flynyddol a'r draul gyda'r *Parcels Post.*

| Cyfarfodydd Misol. | Traul Bresennol. | | | Gyda'r Post. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | £ | s. | d. | £ | s. | d. |
| Llundain | 1 | 7 | 0 | 3 | 15 | 0 |
| Manchester | 0 | 12 | 0 | 2 | 8 | 0 |
| Penfro | 5 | 15 | 0 | 8 | 14 | 0 |
| Birmingham | 0 | 7 | 0 | 0 | 9 | 0 |
| Gogledd Aberteifi | 4 | 4 | 0 | 16 | 16 | 0 |
| Dwyrain Morganwg | 8 | 14 | 0 | 34 | 13 | 0 |
| Gorllewin Morganwg | 7 | 4 | 0 | 34 | 8 | 0 |
| Mynwy | 1 | 2 | 0 | 4 | 10 | 0 |
| Trefaldwyn Isaf | 1 | 14 | 0 | 10 | 0 | 0 |
| Trefaldwyn Uchaf | 2 | 14 | 0 | 10 | 10 | 0 |
| Arfon | 8 | 6 | 0 | 36 | 3 | 0 |
| Lleyn ac Eifionydd | 8 | 16 | 0 | 20 | 7 | 0 |
| Dyffryn Conwy | 2 | 16 | 0 | 16 | 2 | 0 |
| Dyffryn Clwyd | 2 | 14 | 0 | 20 | 8 | 0 |
| Sir Fflint (Gorllewin) | 1 | 15 | 0 | 12 | 0 | 0 |
| " (Dwyrain) | 1 | 12 | 0 | 17 | 5 | 0 |

Os bydd unrhyw Gyfarfod Misol yn dewis cael y ddwy DRYSORFA gyda'r *Parcels Post*, a thalu y draul ychwanegol, bydded iddynt anfon ar unwaith at Messrs. P. M. EVANS & SON, Holywell.

JOHN M. JONES.

*Caerdydd.*

---

## Adolygiad y Wasg.

HANDBOOKS OF BIBLE CLASSES. *Edited by Rev.* MARCUS DODS, D.D., *and Rev.* ALEXANDER WHYTE, D.D.

LESSONS ON THE LIFE OF JESUS. *By Rev.* WILLIAM SCRYMGEOUR, *Bridegate Free Church, Glasgow.*

PRESBYTERIANISM. *By Rev.* JOHN MACPHERSON, *M.A., Edinburgh.*

Edinburgh: T. & T. Clark.

GALLEM dybied fod y Meistri T. & T. lark, Edinburgh, ymysg y cyhoeddwyr nwocaf o lyfrau rhagorol i egluro yr Ysythyrau. Dyna tuag wyth ugain o gyflau mawrion a gwerthfawr y *Foreign heological Library* wedi eu cyhoeddi nddynt; ac y maent yn para i gyhoeddi dair cyfrol newydd bob blwyddyn. Ac er droe bedair blynedd bellach, y mae y lawlyfrau i Ddosbarthiadau Biblaidd yn fod allan yn gyson o'u swyddfa. Cawsom gymaint âg un ar bymtheg o honynt; ac y mae un ar bymtheg eraill, y rhai y gwelsom eu teitlau, yn cael eu parotoi.

Y mae y ddau lyfr sydd yn awr ger ein bron yn rhai nad ydym yn petruso eu canmawl yn y modd mwyaf penderfynol; y cyntaf yn hanner coron ei bris, a'r llall yn ddeunaw ceiniog. Galwasom sylw er ys amser at *The Life of Jesus Christ*, gan y Parch. James Stalker a ddaeth allan yn gynnar yn nghyfres yr *Handbooks*, yr hwn sydd, fel y dywedasom, yn "grynodeb o feddyliau eglurhaol ac addysgiadol ar holl fywyd ein Hiachawdwr, a hyny mewn dull ac iaith sydd ar unwaith yn ddarllenadwy ac yn ddeniadol." Y mae y *Lessons on the Life of Jesus* yn wahanol ei ddull, ac yn fanylach ac ëangach ei gynnwysiad, na'r eiddo Mr. Stalker. Mae yr holl ffeithiau yn mywyd Crist a gofnodir yn yr Efengylau yn cael yma eu cyflwyno i ni, a'u hegluro yn ol mesur eu pwys a'u dylanwad, ynghyd a'i brif ymddyddanion a'i bregethau; ac yn fedrus y cysonir â'u

gilydd adroddiadau y gwahanol Efengylau. Ceir yma ddeuddeg ar hugain o Wersi; y gyntaf am Enedigaeth yr Iesu; a'r olaf "o'r Adgyfodiad i'r Esgyniad." Ar ddiwedd pob gwers neu bennod, ceir Gwestiynau tra phriodol, ac yn fynych awgrymiadau da i astudwyr ac athrawon, yn cynnwys, ymysg pethau eraill, enwau yr awdwyr rhagoraf ar y materion dan sylw.

Pa lyfrau bynag a all fod gan y darllenydd ar hanes ein Gwaredwr—ac yn y blynyddoedd hyn y mae rhai ardderchog wedi dyfod allan—gallwn sicrhau iddo mai anhawdd fydd iddo dryddarllen y llyfr hwn heb gael ar unwaith oleuo ei feddwl a gwresogi ei galon; ac i "Ddosbarthiadau Biblaidd," i'r rhai yn arbenig y cyflwynir y Llawlyfrau hyn, ceir ef yn un o'r rhai cyfaddasaf.

Y llyfr o awduriaeth Mr. Macpherson ar Henaduriaeth sydd, yn ol ei enw, yn Llawlyfr cymhwys i bawb a fynent fod yn hysbys am gyfansoddiad a threfn y ffurf-eglwysig Bresbyteraidd; a mynegir i ni fod yr egwyddorion cyffredinol a eglurir yn y traethawd hwn, yn cael eu cario allan yn eu holl bethau hanfodol yn Eglwysi Presbyteraidd Prydain Fawr, Gogledd America, a'r Trefedigaethau Prydeinig, a lliaws mawr o gyfundebau ac eglwysi ar Gyfandir Ewrop, yn arddangos, yn fwy neu lai perffaith, nodweddau Eglwysi Henaduriaethol.

Mae yn hysbys mai yr egwyddor benaf yn nghyfansoddiad Cyfundeb y Methodistiaid Calfinaidd yw yr egwyddor o Henaduriaeth, er nad ydym ymhob peth yn ymdebygu i'n cyfeillion Ysgotaidd. Yn wir, y mae cryn lawer o Annibyniaeth yn perthyn i ni; ond y mae perthynas yr eglwysi neillduol â'r Cyfarfod Misol, a pherthynasau y Cyfarfodydd Misol â'r Gymdeithasfa, y naill yn ddarostyngedig i'r llall, yn gwbl Henadurol; a chyn hir, yr ydym yn hyderu y bydd y Gymanfa Gyffredinol yn cael ei gosod yn barhaus ar y tir uchaf yn ein Cyfundeb. Pa fodd bynag, caiff efrydydd y Llawlyfr gan Mr. Macpherson lawer o bob mantais i ddeall yn glir am holl drefniadau eglwysig y Presbyteriaid.

—

THE NEW HANDBOOK OF SUNDAY-SCHOOL ADDRESSES. *Designed for the use of Sunday-School Teachers, and those who are called to work among the Children in the Church, the School, or the Home. Edited by the Rev.* ROBERT TUCK, B.A.

London: Elliot Stock.

TRA y mae gan y Saeson lawer o bethau i'w dysgu oddiwrth Ysgolion Sab[bothol] Cymru, y mae yn ddiau y gallai y C[ymry] ddysgu rhai pethau rhagorol oddi[wrth y] Saeson gyda'u Hysgolion Sabbothol [...] Yr ydym yn cael lle i ofni fod nid y[chydig] o athrawon ac athrawesau yn ein [...] anghofio fod gan eu dysgyblion g[...] chydwybod yn gystal â deall. O[s] yn amcanu egluro y Bibl iddynt, [...] ych, os byth, y byddant yn ce[isio] mhwyso ei wirioneddau mawrion [...] gyda'r nôd o'u cael yn ddoeth i i[ach]wriaeth, ac yn sanctaidd ymhob [...] weddiad. Nid arfer math o bregeth[...] hyd yw yr hyn a annogem, ond [...] dull goreu i arwain y plant a'r bobl i[euainc] trwy'r gwirionedd at ei Awdwr a'i [...] ddrych mawr.

I'r cyfryw ddyben gallai y llyfr hwn [...] o wasanaeth arbenig, lle y mae tua d[...] cant o anerchiadau, oll wedi eu seilio a[r] ran neu ranau o'r Ysgrythyr, ac i gyd yn ddeniadol ac adeiladol. Fel y mynega y wynebddalen, gellir cael yndo lawer o help tuag at weinyddu addysg deuluaidd, ac nid gwaith ofer a wnelai ein pregethwyr ieuainc wrth fyned ei feddu a'i efry[du].

—

THE AUTHORITY OF SCRIPTURE: a [...] *statement of the Argument. By the Re[v.]* R. A. REDFORD, M.A., LL.B., *Pro[fessor of Systematic Theology and Apolo]getics, New College, London.*

*By-paths of Bible Knowledge.*

I. CLEOPATRA'S NEEDLE: *a History of the London Obelisk, with an exposition of the Hieroglyphics. By the Rev.* JAMES KING, M.A., *Authorised Lecturer of the Palestine Exploration Fund.*

II. ASSYRIAN LIFE AND HISTORY. [By] M. E. HARKNESS. *With Introduction by* R. STUART POOLE, *British Museum.*

*Companions for a Quiet Hour.* LUTHER'S TABLE TALK. *Extracts selected by Dr.* MACAULAY, *Editor of "The Leisure Hour."*

MARTIN LUTHER, THE REFORMER [of] GERMANY. *New Biographical Series, No.* 1.

The Religious Tract Society, London.

YN nesaf mewn pwysigrwydd at Gym[deithas] deithas y Biblau, a'r Cymdeithasau Ce[nad]adol, rhaid i ni osod Cymdeithas y Tract[...] odau Crefyddol. Y mae wedi cyhoedd[i] llyfrau a thraethodau, hyd yr amser pre[s]ennol, mewn 160 o ieithoedd. Derbyniad yn y flwyddyn yn diweddu yn Mawrth 31, 1883, mewn cyfraniadau i'w chynnorth[wyo]

wyo, £14,324 5s. 1c., ac oddiwrth werthiant ei hamrywiol gyhoeddiadau, £182,960 6s. Cyhoeddwyd 809 o weithoedd newyddion gan y Gymdeithas yn ystod y flwyddyn, o ba rai yr oedd 262 yn draethodau; ac yn eu mysg yr oedd nifer o rai Cymraeg. Yr oedd yr holl gopiau a ddaethant o'r ystorfa trwy y flwyddyn yn 79,379,350, o'r rhai yr oedd 33,249,800 yn draethodau. Ac yr oedd llawer yn cael eu rhoddi yn anrhegion yn y wlad hon, ac mewn gwledydd tramor. Darllener yr Adroddiad Blynyddol, ac nis gellir ond rhyfeddu a chanmawl ëangder a llesolder gweithrediadau y Gymdeithas hon.

Ond yr ydym yn bresennol i ddyweyd gair am y llyfrau sydd ger ein bron. Ymysg y llyfrau gwerthfawr a gyhoeddir gan y Gymdeithas, y mae hi yn y blynyddoedd hyn, er mwyn cyfateb i alwadau yr amserau, wedi ac yn dwyn allan amryw sydd yn cadarnhâu gwirionedd y Bibl, ac yn eglurhâu ei gynnwysiad. Un o'r cyfryw yw gwaith Mr. Redford ar Awdurdod yr Ysgrythyr. Efe a ddywed yn ei Ragymadrodd:—

"Y mae ad-fynegiad o'r rhesymau yn mhlaid Cristionogaeth i'w ddysgwyl yn anghenrhaid fel y mae gwybodaeth yn cynnyddu a gwrthddadleuon yn cyfnewid. Mae beirniadaeth ddiweddar wedi ymosod ar lythyren yr Ysgrythyr yn gystal ag ar ei thadroddiadau a'i hathrawiaethau. I ryw fesur nid yw safle credinwyr yr un yn awr âg yr ydoedd gynt. Nid ydym yn teimlo ein bod yn cael ein galw i amddiffyn golygiadau a osodid allan mewn amseroedd blaenorol, megys ar ansawdd Ysbrydoliaeth, ffurf y goruwchnaturiol mewn geiriau. Ond yr ydym yn sefyll yn gadarn ar y tir o *Ddwyfol awdurdod y Bibl*. Y mae amddiffynwyr yr awdurdod hon dan rwymau i amlygu seiliau eu hyder. Oddiyma y mae ad-fynegiad o'r ymresymiad yn ymddangos yn ateb cymhwys i'r ammheuon a'r cwestiynau sydd yn tueddu i roddi ysgydwad ar safle darllenwyr y Bibl, ac i'w hyspeilio o'u cysur wrth ymarfer â'r Gair Dwyfol."

Nis gwyddom am un llyfr cymhwysach i'r darllenydd cyffredin, sydd yn deall Saesoneg, i'w oleuo a'i gryfhâu yn ngwirionedd Ysbrydoliaeth y Bibl, na'r gwaith hwn. Ceir yma lawer iawn o wybodaeth sylweddol yn grynöedig mewn ychydig le. A byddai yn *text-book* rhagorol i'n pobl ieuainc ar y pwnc mawr y mae yn ymdrin âg ef. Ar y *plenary and verbal inspiration*, ac ar y profion mewnol ac allanol, nid yn hawdd y gellir cael dim yn decach ac yn rhagorach nag sydd i'w gael yma. Ac y mae'r bennod olaf, "*The Bible and Man*," yn diweddgloi y cyfan yn brydferth a safadwy.

Dyma hefyd ddau lyfr tlws yn dechre cyfres y *By-paths of Bible Knowledge*, cyffelyb i lwybr troed trwy'r meusydd mewn cyferbyniad i'r brif-ffordd. Y mae ein darllenwyr yn gwybod, ysgatfydd, am y bigadail ryfedd yn Llundain—y golgolofn sydd yn sefyll ar arglawdd y Tafwy, a elwir *The London Obelisk*, a ddygwyd drosodd o'r Aipht i'r wlad hon ryw chwe' blynedd yn ol. "Y mae llythyrenau cyfriniol sydd yn gorchuddio pedwar wyneb y golgolofn hon," meddir wrthym, "wedi eu cerfio gan weithwyr oedd yn gyfoeswyr â Moses a'r Israeliaid yn ystod caethiwed yr Aipht." Cawn yn y llyfr hwn ar yr *Obelisk*, gyfieithiad o'r ysgrifion a'r arwyddluniau, gydag amrywiol ddarluniadau o honynt, ac o bigadeiliau eraill a cherfddelwau o hen freninoedd enwocaf yr Aipht. Rhydd gadarnhâd dyddorol i ranau hanesyddol y Bibl; a phawb â'i darlleno a dderbyniant fawr foddhâd ac adeiladaeth.

Cyffelyb o ran gwerth a dyddordeb yw llyfr yr *Assyrian Life and History*. Y mae yn yr Amgueddfa Frytanaidd yn Llundain y casgliad helaethaf o hynafiaethau Assyriaidd sydd yn yr holl fyd; ac y mae yr astudiaeth o honynt, fel y dywed Mr. Stuart Poole, yn fath o "esboniad newydd ar yr Hen Destament." Yn y llyfr hwn rhoddir i ni hanes prif freninoedd Assyria, a'r ysgrifeniadau Assyriaidd, ynghyd a llenyddiaeth, crefydd, celfyddydwaith, helyntion milwraidd a helwriaethol, ac arferion teuluaidd, yr Assyriaid, gyda lliaws o bethau eraill; a chawn amryw ddarluniau eglurhäol. Diweddir trwy ddywedyd fod yr holl bethau hyn yn profi, er fod yn bresennol "Ninefeh yn anghyfannedd ac yn sych fel diffeithwch, a diadellau yn gorwedd yn ei chanol, ac anghyfannedd-dra yn ei gorsingau" (Sephania ii.), eto y bu "Assur yn gedrwydden yn Libanus, yn deg ei cheinciau, a'i brig yn cysgodi, ac yn uchel ei huchder, a'i brigyn rhwng y tewfrig; holl ehediaid y nefoedd yn nythu yn ei cheinciau, ïe, yr holl genedloedd lliosog a eisteddent dan ei chysgod hi" (Ezec. xxxi.).

Y mae eto lyfrau i'r un perwyl, yn berthynol i'r gyfres hon, ar gael eu cyhoeddi, y rhai a fyddant oll, mae yn ddiau genym, yn gweini boddlondeb a lleshâd.

Llyfr amserol iawn, fe welir, yw *Luther's Table Talk*. Y mae y cyhoeddiad o hono yn awr yn deyrnged deilwng i gadwraeth pedwar-canmlwyddiad y Diwygiwr a'i rhydeddus. Dywed Froude, "*On reading the Table Talk of Luther, one ceases to wonder how this single man could change the face of Europe.*" Ceir yma ddetholiad doeth a chanmoladwy o gyfrol fawr ymddyddanion Luther mewn llyfryn hardd-deg, cymhwys i'r llogell, fel y gallwn wrth deithio y rheilffordd ei gael yn gydymaith dyddanus

Gwelwn ar unwaith wrth wneuthur defnydd o hono, y rhaid fod gan Luther ben mawr, a chalon fawr, yn cael eu llywyddu gan dduwioldeb mawr.

Cynnwysfawr a rhadlawn iawn yw hanes *Martin Luther, the Reformer of Germany*. Gyda phortreiad da o hono, cawn hanes cryno am dano mewn pedair ar ddeg o bennodau. Dylai hwn fod yn llaw ein pobl ieuainc yn gyffredinol.

---

Y GYFRES WLEIDYDDOL: I. LLAWLYFR HANESIOL, *seiliedig ar waith Seisonig* A. H. DYKE ACLAND, M.A., *a* CYRIL RANSOME, M.A., *gydag Ychwanegiadau gan y Cyfieithydd*, JOHN EVANS, B.A.

Caernarfon: D. W. Davies & Co.

FEL y dywed y Rhagymadrodd, "mae y llyfr hwn ar destun sydd yn ddyddorol i bob dosbarth, a hyderwn y profa yn wasanaethgar i gylch helaeth o ddarllenwyr." Y Rhan Gyntaf a rydd "amlinelliad o hanes y gwahanol gyfnodau [ar y wlad hon] o'r amser boreuaf hyd y flwyddyn 1830;" ac yn yr Ail, ceir "cronicl o'r prif fesurau a chyfnewidiadau gwleidyddol er 1830, gyda nodiadau eglurhäol." A'r Attodiad a rydd restr o'r Brwydrau Etholiadol yn Nghymru yn yr Etholiadau Cyffredinol yn 1868, 1874, ac 1880. Fel cyfeirlyfr gwleidyddol, nis gellir cael un mwy hylaw a gwasanaethgar; a gwir yw y dystiolaeth fod y gwaith hwn, "er yn dal perthynas â chyfangorff mawr y Deyrnas Gyfunol, wedi ei gyfaddasu trwyddo at anghenion neillduol darllenwyr Cymreig."

---

CANEUON CADVAN. Llyfr II.

Dolgellau: W. Hughes.

Y MAE yr awdwr, y Parch. John Cadvan Davies, yn cyflwyno ei Ganeuon hyn "i'r Parchedig Ddoethawr William Rees (*Gwilym Hiraethog*)," yr hwn, erbyn hyn, er chwithdod i'n holl genedl, sydd wedi gadael "gwlad y gân" a foliennir gan Cadvan, a myned i'r "wlad well," gwlad "cân Moses a chân yr Oen." Gan i Cadvan dderbyn cefnogiad ei gydwladwyr i *Lyfr* Cyntaf ei Ganeuon, y mae yn *naturiol iddo* ddysgwyl cyffelyb groesawiad *i'w Ail Lyfr*; ac y mae yn addaw Trydydd Llyfr *hefyd* i'w olynu.

Y gân cyntaf sydd ar "Ioan Fedyddiwr," yr Arwrgerdd Gadeiriol yn Eisteddfod Llanelli, 1881; a chawn lawer o ddarnau tra grymus yn hon. Da yw "Debora" hefyd, *Cantata* Gysegredig y cyfansoddwyd ei cherddoriaeth gan *Pencerdd Maelor*. Ac y mae pryddest "Ffoedigaeth Mair a'r Iesu i'r Aipht" yn rhoddi i ni lawer o feddyliau tlysion a chryfion. Rhaid i ni adael heibio nodi y caniadau *llai*, a therfynu ein hadolygiad byr gan argamawl yn ddifloesgni lyfr "Caneuon Cadvan" i bawb o'n darllenyddion sydd yn ymserchu mewn Barddoniaeth Gymraeg.

---

## Cofnodiadau mewn cysylltiad a Methodistiaeth.

### CYMDEITHASFA Y BONTFAEN, DWYRAIN MORGANWWG.

HYDREF 9, 10, 11, 1883.

---

LLYWYDD,—Y Parch. T. C. EDWARDS, M.A., Aberystwyth.

---

DYDD MAWRTH, Y 9FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa, am 6 30 o'r gloch.*

I. Galwyd enwau y cynnrychiolwyr.

II. Hysbyswyd am y Parch. T. C. Edwards nad allai fod yn bresennol ond dydd Mercher. Cymerwyd y gadair gan hyny yn y cyfarfod hwn a'r cyfarfod cyffredinol bore dydd Iau, gan y Cynlywydd, y Parch. George Williams.

III. Darllenwyd y Cenadwriaethau canlynol:

*O Ogledd Aberteifi*:—1. O berthynas i'r hyn a gyflwynwyd i ystyriaeth o Gymdeithasfa Llanddeusant, ynghylch Dyled y Capelau, dymunwn hysbysu, "Ein bod yn parhau yr un yn ein barn, ac yn glynu wrth y penderfyniad a anfonwyd i Gymdeithasfa Aberystwyth, Mawrth diweddaf."—2. Gan na ddaeth ein cais am *grant* i eglwys Stockton-on-Tees dan ystyriaeth Cyfeisteddfod y Genadaeth Gartrefol yn Awst diweddaf,—"Ein bod yn dymuno apelio at y Gymdeithasfa hon am *grant* i Stockton ar yr un telerau ag y rhoddwyd i eglwys Middlesboro."—3. "Ein bod wedi derbyn ymddiswyddiad y Parch. D. J. Davies, gynt o Triasant, yr hwn sydd yn ymadael â'r Cyfundeb i fyned i'r Eglwys Sefydledig."—T. EDWARDS, *Ysgrifenydd*.

*O Ddehau Aberteifi*: *Y Rheolau ar Godi Pregethwyr*.—Yr ydym yn cynnyg fel y canlyn,—"Yn yr ail reol, yn lle 'bydded i'r Swyddogion anfon cais,' darllener, "Bydded i'r Swyddogion wedi iddynt ymgynghori â'r eglwys, anfon cais." &c. Hefyd, fod y geiriau canlynol i gael eu hychwanegu at y rheol, "Ac os metha gael y nifer angenrheidiol, na

byddo sylw pellach ar ei achos am flwyddyn o leiaf.' "—JOHN MORGAN, *Ysgrifenydd.*

*O Sir Frycheiniog:*—Yn y Cyfarfod Misol diweddaf bu sylw ar y Rheolau ar godi Pregethwyr, fel eu cynnygiwyd gan y Cyfeisteddfod yn Nghymdeithasfa Aberystwyth; a chymeradwywyd hwynt oll "—REES DAVIES, *Ysg.*

*O Sir Gaerfyrddin:*—Penderfynwyd o berthynas i Reolau ar godi Pregethwyr—"Ein bod yn dymuno glynu wrth yr hyn a anfonwyd i Gymdeithasfa Llanddeusant, sef, 'Ein bod yn boddloni ar y Rheolau sydd yn bod yn barod yn y *Dyddiadur.*' Ac o berthynas i Ddyled ein Capelau, ein bod yn barnu mai yn Sirol y gellir symud ymlaen gyda hyn."—THOS. JAMES, *Ysgrifenydd.*

*O Ddwyrain Morganwg:*—1. Penderfynwyd,—"Ein bod yn cymeradwyo cynnygiadau Pwyllgor Dyled y Capelau, a ddaethant o Gymdeithasfa Llanddeusant."—2. "Ein bod yn cymeradwyo y Rheolau ar godi Pregethwyr a gynnygiwyd gan y Pwyllgor hwnw, ond yn cynnyg *tair rhan o bedair* o bleidleisiau yr *Eglwysi*, yn lle dwy ran o dair o bleidleisiau y Swyddogion (Rheol III.) A'n bod yn cynnyg fod yr Arholiad i gael ei wneyd gan yr Arholwyr mewn rhan ar dafod-leferydd, gan wneyd i ffwrdd â'r Pwyllgor o ddeuddeg." (Rheol IV.)—3. "Ein bod yn galw sylw y Gymdeithasfa at y priodoldeb o basio penderfyniad o blaid cynnygiad Mr. Dillwyn ar ddadsefydliad yr Eglwys yn Nghymru."—4. Bernid yn ddymunol galw sylw y Gymdeithasfa at y ffaith fod lliaws o'n haelodau yn symud o un man i'r llall heb eu papyrau, neu heb eu trosglwyddo ar ol eu cael, a bod annogaeth yn cael ei rhoi i'r Swyddogion i wneyd eu goreu i weled fod pob aelod fyddo yn symud yn cael papyr, ac i anfon *duplicate* i Swyddogion yr eglwys yn yr ardal y symudant iddi.—W. J. WILLIAMS, *Ysgrifenydd.*

*O Orllewin Morganwg:*—1. Dymuna y Cyfarfod Misol hwn i'r Gymdeithasfa yn Pontfaen ffurfio penderfyniad grymus o blaid Mesur Mr. Dillwyn, A.S. dros Abertawe, ynglŷn â dadgysylltiad yr Eglwys yn Nghymru.—2. Cymeradwywyd Rheolau codi Pregethwyr ieuainc, fel y maent yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Aberystwyth am y Gwanwyn diweddaf.—3. Gyda golwg ar dalu Dyled Capelau, penderfynwyd,—"Mai yn Daleithiol y byddai oreu symud ymlaen gyda'r Gronfa a fwriedir ei chodi, er cadw undeb y Cyfundeb hyd y gellir; ond os barna y Gymdeithasfa mai yn Sirol y dylid gweithredu, addawa y Cyfarfod Misol hwn gydweithredu â Siroedd eraill yn siriol a chalonog."—WILLIAM HOWELL, *Ysg.*

*O Sir Fynwy:*—1. "Ein bod yn cymeradwyo y Rheolau ar godi Pregethwyr, fel yr ymddangosant yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Aberystwyth."—2. "Ein bod yn gefnogol i unrhyw gynllun fyddo yn debyg o gynnorthwyo lleihâu dyled arosol ein Capelau."—EVAN JONES, *Ysgrifenydd.*

*O Sir Benfro:*—1. "Ein bod yn foddlawn i'r Rheolau a gyhoeddwyd yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Aberystwyth, gyda golwg ar godi Pregethwyr, heb un cyfnewidiad."—2. "Ein bod, tra yn dymuno cefnogi pob ymdrechion i ddileu dyled y capelau, ar yr un pryd yn hollol o'r farn mai trwy ymdrechion lleol a sirol y llwyddir i gyrhaedd yr amcan."—WILLIAM MORRIS, *Ysg.*

*O'r Henaduriaeth:—Aberdare Presbytery,* held October 4th, 1883. Resolution 19.—"That this Presbytery, learning that L. L. Dillwyn, Esq., M.P., intends to introduce in the next Session of Parliament, a resolution having for its object the Disestablishment of the Established Church in Wales, desires to express its entire approbation of the object in view, and pledges itself to render every assistance to secure that end. That the Quarterly Association be requested to pass a resolution, promising its hearty support to this movement."—E. WILLIAMS, *Sec.*

IV. Darllenwyd llythyr oddiwrth Mr. Mundella, yn cydnabod derbyniad y penderfyniad o'r Gymdeithasfa flaenorol o blaid parhâd y Coleg yn Aberystwyth.

V. Hysbyswyd fod yr adran ganlynol, rhif 4, penderfyniad VIII., tu dal. 3, yn Nghylchlythyr Cymdeithasfa Dinas, wedi ei gadael allan, a phenderfynwyd ei rhoddi i mewn yn y Cylchlythyr hwn:—4. "Nad oes un Pregethwr fyddo wedi ei attal i bregethu gan unrhyw Gyfarfod Misol, i gael dechre ar y gwaith drachefn heb ymgynghoriad â'r Cyfarfod Misol hwnw."

VI. Rhoddwyd caniatâd i'r Parch. W. James, Aberdâr, ddwyn ger bron y Gymdeithasfa gynnygiad ar Addysg Uwchraddol yn Nghymru.

VII. Ar y genadwri o Ogledd Aberteifi, yn gofyn am gymhorth o Drysorfa y Genadaeth i Stockton-on-Trees:—Wedi cael eglurhâd mai diffyg oedd wedi bod mewn dwyn y cais hwn ger bron y Cyfeisteddfod yn mis Awst, penderfynwyd fod y swm o £15 yn cael ei roddi i Stockton, ar yr un telerau a'r cymhorth i Middlesboro.

VIII. Penderfynwyd ein bod yn pleidio mesur Mr. Dillwyn ar Ddadsefydliad a Dadwaddoliad yr Eglwys Wladol yn Nghymru; a phenodwyd y Parchn. Joseph Evans, J. C. Jones, a W. Jenkins, M.A., i dynu i fyny y penderfyniad.

IX. Ar y genadwri o Ddwyrain Morganwg, mewn perthynas i symudiad aelodau o un man i'r llall:—Penderfynwyd ein bod yn galw sylw y Cyfarfodydd Misol, a thrwyddynt hwy yr eglwysi, at y pwys o wasgu ar yr aelodau fyddo yn symud i gyflwyno eu papyrau aelodaeth mor ddioedi ag y byddo modd i'r eglwysi yn y lleoedd y byddont yn symud iddynt, a'r pwys hefyd i ni wneuthur sylw o, a gofalu am, yr aelodau fyddont yn dyfod i'n hardaloedd o fanau eraill.

X. Wedi rhoddi ystyriaeth fanwl i farn y Siroedd ar y rheolau ar godi Pregethwyr, fel eu cyflwynwyd i Gymdeithasfa Aberystwyth, penderfynwyd ein bod yn eu cyflwyno i'r Cyfeisteddfod unedig o'r Gogledd a'r De; ond fod rheolau II, III, a IV, i'w darllen fel y canlyn:—

II. Ein bod yn annog y gweinidogion a'r blaenoriaid i gadw sylw manwl ar yr eglwysi, er mwyn canfod a meithrin cymhwysderau i weinidogaeth y Gair. Wedi i swyddogion yr eglwys ddeall fod ynddi ŵr ieuanc ag ynddo duedd at y weinidogaeth, ac wedi iddynt gael prawf boddhäol arno yn y cylch blaenorol, os bydd yn gymeradwy o ran ei gymeriad a'i ysbryd, bydded i'r swyddogion, wedi iddynt ymgynghori â'r eglwys, anfon cais i'r Cyfarfod Misol am genadau—gweinidog a blaenor—i'w cynnorthwyo i ffurfio barn am ei gymhwysderau, drwy ei holi am ei wybodaeth ysgrythyrol, ei brofiad, a'i gymhelliadau at y weinidogaeth, ac i dderbyn llais ar ei achos drwy bleidlais ddirgel; a bydd yn anghenrheidiol iddo gael tair rhan o bedair o bleidleisiau yr aelodau fyddont ar y pryd yn bresennol, cyn y gellir myned ymlaen ymhellach gyda'i achos; ac os metha gael y nifer anghenrheidiol, na byddo sylw pellach ar ei achos am flwyddyn o leiaf.

III. Os ceir boddlonrwydd yn adroddiad y cenadau, trefner i'r ymgeisydd fyned drwy y Dosbarth i anerch a holwyddori yr Ysgolion Sabbothol, ac i esbonio rhanau o'r Ysgrythyrau yn y cyfarfodydd eglwysig a'r cyfarfodydd gweddi, &c. A phan fyddo wedi ymweled bedair gwaith o leiaf â'r holl eglwysi, dyger ei achos drachefn gan y swyddogion i Gyfarfod y Dosbarth y byddo rhybudd wedi ei rhoddi ymlaen llaw gan yr Ysgrifenydd fod ei achos yn dyfod ymlaen ynddo, ac un y byddo tair rhan o bedair o eglwysi y Dosbarth yn cael eu cynnrychioli ynddo; a rhaid iddo dderbyn cymeradwyaeth tair o bedair o eglwysi y Dosbarth cyn y gellir ei gyflwyno fel ymgeisydd am y weinidogaeth i'r Cyfarfod Misol.

IV. Pan wneir ei ddewisiad yn hysbys i'r Cyfarfodydd Misol, penoder brodyr i'w arholi am ei wybodaeth gyffredinol o'r ysgrythyrau, ac ar bynciau athrawiaethol crefydd; ac wedi hysbysu i'r ymgeisydd y materion, a rhoddi iddo ddau fis o leiaf i ymbarotoi, arholer ef yn gyntaf mewn ysgrifen, ac yna ar dafod-leferydd; ac os bydd yr arholwyr yn ei gymeradwyo, ac os wedi clywed adroddiad ganddo o'i hanes crefyddol a'i gymhelliadau at waith y weinidogaeth, y derbynia gymeradwyaeth y frawdoliaeth fyddo yn bresennol yn y Cyfarfod Misol, rhodder rhyddid iddo i bregethu o fewn cylch y Cyfarfod Misol; ac wedi iddo wneuthur hyny am oddeutu blwyddyn, ystyrir ef ar dir y gellir ei gyflwyno fel ymgeisydd am dderbyniad i'r Athrofa, a'i dderbyn yn aelod o'r Cyfarfod Misol yn y drefn arferol.

Penodwyd y Parchn. J. Jones, Ceinewydd, D. Saunders, a J. Wyndham Lewis, i fod ar y Cyfeisteddfod dros y Deheudir.

DYDD MERCHER, Y 10FED.

*Cyfeisteddfod y Gymdeithasfa (parhâd), am 8 o'r gloch.*

I. Wedi i'r Parch. Joseph Evans egluro ei gynnygiad am gael cyfres o Ddarlithiau yn flynyddol yn yr Athrofa, a chael ymdriniaeth pellach arno, penderfynwyd fod y mater yn cael ei gyflwyno i ystyriaeth Cyfeisteddfod yr Athrofa, yr hwn sydd i gyfarfod yn mis Mehefin.

II. Bu sylw ar y cynllun cynnygiedig tuag at leihâu dyled ein capelau; ac ar ol darllen y cenadwriaethau a dderbyniasant i law ar y mater, a rhoddi ystyriaeth bwyllog i farn y siroedd gyda golwg ar y llwybr goreu i ddwyn yr amcan oddiamgylch, penderfynwyd ein bod yn ymddiried yr achos hwn yn gwbl i'r Parch. W. Williams, Abertawe, i drefnu yn y modd y barno yn oreu, yn ol y ddoethineb a *rodded iddo* ef, i gynnorthwyo y lleoedd *sydd yn suddo* dan ddyled, gan ddymuno iddo bob llwyddiant yn yr ymgymeriad pwysig hwn.

*Cyfarfod neillduol ar yr Ysgol Sabbothol, yn ol penderfyniad y Gymdeithasfa flaenorol, am 9 30.*

1. Penderfynwyd ein bod yn annog y Cyfarfodydd Misol i gymeryd i ystyriaeth benodiad Goruchwyliwr mewn cysylltiad â'r Ysgolion Sabbothol o fewn eu terfynau, yn ol awgrymiad y Gymanfa Gyffredinol; ac os gwelant eu ffordd yn glir i wneyd y cyfryw benodiad, fod y manylion pa un ai Gweinidog ai Lleygwr fyddo, ynghyd a materion eraill cyffelyb, i'w gadael i'r Cyfarfodydd Misol.

2. Ynglŷn â hyn rhoddwyd canmoliaeth uchel gan y Parch. J. Cynddylan Jones ac eraill, i Lyfr y Parch. D. Evans, M.A., Gelligaer, ar yr Ysgol Sabbothol, cyhoeddedig gan y *Sunday School Union*, yr hwn sydd yn gyfraniad nodedig o gymhwys at ddathliad canmlwyddol yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru. Penderfynwyd ein bod yn annog ar fod y derbyniad a'r gefnogaeth fwyaf gwresog yn cael eu rhoddi i'r llyfr rhagorol hwn.

*Cynnaliwyd Cyfarfodydd y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, ar wahân am 11 o'r gloch.*

Yn Nghyfarfod y Pregethwyr adroddodd y Parchn. E. Matthews, a T. Rees, Cein, eu profiadau. Dangosai yr ymdriniaeth y lle mawr a ddylai crefydd bersonol gael yn ein hystyriaethau fel Pregethwyr, ac y gall rhai nad oes neb o'u brodyr yn ammheu eu duwioldeb a'u danfoniad fod mewn llawer o bryder ar adegau ynghylch eu cyflwr rhyngddynt â Duw. Dangosid yr un pryd mai y cyfryw rai yn aml sydd yn cyrhaedd y sicrwydd mwyaf pan yn ymadael â'r byd.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 1 o'r gloch.*

I. Cyflwynwyd i'r cyfarfod y Parch. John Thomas, Rhostryfan, yr hwn sydd

wedi ei dderbyn fel Cenadwr i fyned allan i Fryniau Cassia; ac wedi darllen llythyr oddiwrth Ysgrifenydd y Genadaeth yn rhoddi hanes ei dderbyniad a'i ordeiniad, a chael gair o'i deimlad ef ei hun, penderfynwyd:—"Bod y Gymdeithasfa hon, ar ol gwrando y tystiolaethau a osodwyd o'i blaen i gymeriad a chymhwysderau y Parch. J. Thomas, ynghyd a'r anerchiad gwresog a draddodwyd ganddo ef ei hun, yn llawenychu yn ei fynediad allan fel Cenadwr i Fryniau Cassia, gan ddymuno amddiffyn Rhagluniaeth drosto yn ystod ei daith, a bendithion cyfoethog ar ei lafur ar y maes pwysig hwnw."

II. Mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol o blaid mesur Mr. Dillwyn:—

"This Association desires to express its satisfaction that Mr. Dillwyn, M.P., purposes to bring forward a motion at the next Session of Parliament, to disestablish and disendow the Established Church in Wales, inasmuch as it considers that the connection between the Church and the State as it exists in this country is wrong in principle, unjust in its operation towards the large majority of the population of the Principality, and detrimental to the true interests of religion; and it trusts that the measure will receive such support as will secure its complete success."

III. Trefnwyd i'r Gymdeithasfa nesaf gael ei chynnal yn Nhredegar, Ebrill 8fed, 9fed, a'r 10fed, 1884; cyfarfod cyntaf y Cyfeisteddfod i fod am 3 o'r gloch prydnawn dydd Mawrth yr 8fed.

IV. Traddododd y Parch. George Williams anerchiad difrifol wrth ymadael â'r gadair, yn yr hwn y galwai sylw yn neillduol at y pwys o ymdrafod â materion ysbrydol y Gymdeithasfa, fel yr oedd ein tadau yn arfer gwneyd, er mwyn cadw ein hysbryd yn mhethau trymaf y deyrnas, a'r hyn fyddai yn rhoddi help at, ac yn gosod urddas ac effeithiolrwydd ar bob peth allanol ac amgylchiadol.

Ar gynnygiad y Parch. E. Matthews, a chefnogiad y Parch. D. Phillips, cyflwynwyd diolch cynhes i Mr. Williams am ei wasanaeth gwerthfawr fel Llywydd, ac am ei anerchiad rhagorol.

V. Darllenwyd a chymeradwywyd yr Adroddiad canlynol o Gyfarfod y Blaenoriaid, a gwnaethpwyd sylwadau pellach i alw sylw at y materion cynnwysedig ynddo.

1. "Fod cwyn yn bod fod rhai Gweinidogion a Phregethwyr yn arfer tori eu cyhoeddiadau, ac mewn llawer o amgylchiadau yn anfon eraill yn eu lle; a dymunir galw sylw y Gymdeithasfa at agwedd ddifrifol yr arferiad hwn, a'r profedigaethau y mae yn arwain iddynt; ac os bydd anghen am dynu cyhoeddiad yn ol, bod rhybudd prydlawn yn cael ei anfon at yr eglwys." Y Cadeirydd (Mr. Howell, Pencoed), Mr. Griffiths, Rock, a Mr. D. Evans, Bodringallt, i osod y mater o flaen y Gymdeithasfa. 2. "Yn wyneb amlygiadau neillduol o ddaioni Rhagluniaeth tuag atom, fod arbenigrwydd yn cael ei roddi ar y Cyfarfodydd Diolchgarwch y flwyddyn hon; fod pregeth neu anerchiad yn cael ei draddodi yn y Cyfarfod Diolchgarwch, ar ddaioni Rhagluniaeth, neu ryw bwnc cysylltiedig; neu os na bydd cyfleusdra, fod hyny i'w wneyd ar y Sabboth blaenorol, a bod casgliad yn cael ei wneyd gan bob eglwys yn y cyfryw gyfarfod at ryw achos teilwng."—W. HOWELL, *Cadeirydd;* P. JOHN, *Ysgrifenydd.*

Ynglŷn â hyn rhoddwyd rhybudd o gynnygiad fod rhestr yn cael ei danfon i'r Gymdeithasfa o'r Pregethwyr sydd yn arfer tori eu cyhoeddiadau.

DYDD IAU, YR 11EG.

*Cyfarfod Cyffredinol y Gymdeithasfa am 8 o'r gloch.*

I. Darllenwyd a chadarnhäwyd penderfyniadau y Cyfeisteddfod.

II. Wedi cryn ymddyddan ar Addysg Uwchraddol yn Nghymru, ar gynnygiad y Parch. T. Rees, Cefn, a chefnogiad y Parch. T. Levi, mabwysiadwyd y penderfyniad canlynol:—"Ein bod yn dymuno dadgan ein gobaith ar fod i Gynghorau y Golegau Cymreig gael eu gwneyd i gynnrychioli yn fwy trwyadl ac uniongyrchol olygiadau y Cymry—fod yn ddrwg genym ddeall fod y llywodraeth yn awr, mewn gwirionedd, i raddau gormodol yn llaw newydd-ddyfodiaid, y rhai sydd yn gymharol ddyeithr ac anadnabyddus i'r genedl, ar draul cau allan Gymry o ddysg, y rhai sydd yn meddu y cydymdeimlad anghenrheidiol â, a dirnadaeth o, ein hanghenion cenedlaethol. Fod copi o'r penderfyniad hwn i gael ei anfon i Arglwyddi Carlingford ac Aberdare."

III. Ar gynnygiad y Parch. W. James, Aberdâr, a chefnogiad y Parch. A. Davies, Rhymney, cymeradwywyd y penderfyniad canlynol i fod dan ystyriaeth pellach:—"Yn ngwyneb yr ymdrechion a wneir o blaid Addysg Uwchraddol yn Nghymru, a'r apeliadau a wneir am danysgrifiadau, mai dymunol fyddai i'n haelodau a'n gwrandäwyr gyfranu tuag at ffurfio Ysgoloriaethau er cynnorthwyo ein dynion ieuainc i gyrhaedd manteision ein Haddysg Genedlaethol; y cyfryw Ysgoloriaethau i fod yn hollol o dan lywodraeth y Gymdeithasfa."

V. Gosodwyd ar yr Ysgrifenydd i anfon cofion cynhes y Gymdeithasfa at yr Hybarch William Evans, Tonyrefail.

VI. Cafwyd adroddiad dyddorol am agwedd yr Achos yn Nwyrain Morganwg, gan y Parchn. William James, Aberdâr, a Thomas Davies, Treorci.

Ynglŷn â hyn dymunwyd ar Gyfarfodydd Misol Morganwg gymeryd i'w hystyriaeth ddifrifol anghenion yr ardaloedd hyny yn y Sir sydd yn cael eu meddiannu yn gyflym gan y Saesoneg, a phasiwyd y penderfyniad canlynol:—"Fod y Cyfarfodydd Misol yn cael eu hannog i daflu golwg dros yr eglwysi o fewn eu terfynau, fel ag i ganfod a oes rhai o honynt lle y dylai rhan neu yr oll o un gwasanaeth, neu ychydig, ar y Sabboth, fod yn Saesoneg, ac fod y Cyfarfod Misol i anfon cenadau at y cyfryw eglwysi i ymresymu â'r Swyddogion yn enw y Cyfarfod Misol, a'u cymhell i drefnu moddion i ddwyn hyn oddiamgylch."

VII. Gwnaethpwyd sylwadau parchus mewn coffâd am ein brodyr ymadawedig, y Parchn. R. Herbert, Pontlottyn, a W. E. Williams, Llanylltid-Vardre.

G. Davies, *Ysgrifenydd.*

O. Y.—Yn ystod y Gymdeithasfa derbyniwyd hysbysrwydd gyda'r pellybyr, oddiwrth y Parch. D. Saunders, ei fod ef a'i briod wedi tirio yn Liverpool, ond fod yn ddrwg ganddo nas gallai ddyfod i'r Gymdeithasfa. Anfonwyd cenadwri yn ol i'w longyfarch ar ei ddychweliad adref.

---

MARWOLAETH Y PARCH. DAVID MORGAN, YSPYTTY YSTWYTH.

Bore Sadwrn, Hydref 27, bu farw y Parch. David Morgan, Yspytty Ystwyth, Gogledd Sir Aberteifi, yn 69 mlwydd oed, wedi bod yn pregethu dros 40 mlynedd, a'i ordeinio yn y flwyddyn 1857. Mae ei enw ef yn hysbys trwy holl Gymru fel un a gafodd rywbeth tebyg i ysbrydoliaeth mewn cysylltiad â'r adfywiad grymus yn 1859—60. Ystyrid ef yn ŵr da, ac yn bregethwr oedd ymhell o fod yn anghymeradwy, ac ymhell, o'r ochr arall, o fod fel y cyfryw yn enwog a phoblogaidd. Ond yn y cyfnod a nodwyd, dyna efe yn amlwg yn cael ei wisgo â "nerth o'r uchelder," fel y gwnaed ef yn offeryn i ychwanegu cannoedd a miloedd o bobl o'r newydd at yr eglwysi. Ar ol i'r cynhyrfiad mawr fyned heibio, ni welid arno un rhagoriaeth ar lïaws ei frodyr; ond bu yn ffyddlawn gyda'r weinidogaeth hyd ei ddiwedd. Ni bu ond un Sabboth yn methu pregethu gan anhwyldeb, a hwnw oedd ei Sabboth diweddaf.

---

PEMBROKE DOCK.—AIL-AGORIAD Y CAPEL.

Y Sabboth cyntaf o'r mis diweddaf, a'r nos Lun dilynol, ail-agorwyd capel y Methodistiaid yn y lle hwn. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. D. W. Davies, Casnewydd, a W. G. Owen, Abergavenny. Cafwyd cyfarfod hynod o lwyddiannus. Casglwyd ar yr achlysur y swm o ddau cant a thriugain a deg o bunnoedd, sef tua hanner y draul y bu raid i'r eglwys fyned iddi i ail doi y capel, ac i'w adnewyddu oddifewn. Yr oedd y tô a osodwyd gyntaf ar y capel yn ddiffygiol o ran ei gynlluniad, ac ofnid y buasai yn dyfod i lawr. I ragochel pob perygl, penderfynwyd ei dynu i lawr, a gosod tô newydd ar y capel. Yr oedd hon yn brofedigaeth chwerw i'r frawdoliaeth. Ond trwy weithgarwch unfrydol yr holl aelodau, a chydymdeimlad llïaws o gyfeillion, fe lwyddwyd ar yr ail-agoriad i gyfarfod âg yn agos i hanner y draul; ac y mae y capel nid yn unig yn gadarnach, ond hefyd yn harddach nag yr ydoedd o'r blaen.

---

# Cronicl Cenadol y Methodistiaid Calfinaidd Cymreig.

## DOSBARTH JIWAI.

Llythyr oddiwrth y Parch. Robert Evans, dyddiedig Shangpoong, Medi 21ain, 1883.

Bu yr holl Gristionogion yma ddoe yn cario tŷ drachefn o'r pentref. Yr oeddym yn ei osod i fyny heddyw drwy y dydd; a dysgwyliwn ei orphen yfory. Cafodd plant yr ysgol ddiwrnod o *holiday;* ac yr oeddym oll, yn fychan ac yn fawr, yn ddynion a merched, yn gwneyd ein rhan yn y tynu i lawr, y cario, a'r adeiladu. Mae yr holl deulu yn wyth o nifer, sef hen ŵr a hen wraig, dau fab, un ferch a'i thri phlentyn (dwy eneth a bachgen). Maent yr un teulu â gwraig y blaenor yma, ac yn bobl ddystaw a pharchus. Dechreuodd un o'r meibion gadw y Sabboth ddechre yr haf; a'r pryd hwnw gadawodd ei rieni, &c., yn y pentref, ac arosodd yn ein plith.

Wythnos i'r Sabboth diweddaf yr oedd yn ddydd marchnad yma, fel y mae bob amser yn rheolaidd bob saith wythnos; ac yn lle cael ein holl gyfarfodydd yn y capel fel arfer, ni chadwasom ond ysgol yn y bore yno, ac aethom oll am y gweddill o'r dydd i'r farchnadfa ac i'r ysgoldŷ yn y pentref. Daeth mwy o nifer o lawer i'n gwrando yn y farchnad nag a welais erioed o'r blaen; ac yr oedd ugeiniau, os nad cannoedd, o honynt yn ymddangos yn

gwrando yn astud. Nid wyf yn meddwl y buasai y gynnulleidfa yn ymddangos yn fechan o gwbl ar lawr Prince's Road neu Chatham, Liverpool. Mae yn ddigon tebyg fod llawer yn dyfod i'n gwrando o ran cywreinrwydd ac i chwerthin am ein pennau; ond yr ydym oll bellach—y Cristionogion yma a minnau—wedi cynnefino â hyny, fel nad ydym bron byth yn cofio mai gwawd ydyw. Nis gwyddom pa nifer o elynion ein Brenin yr ydym yn cael bod yn offerynau i'w clwyfo; ond yr ydym yn ddigon gwrol, beth bynag arall ydym, i gario baner ein Brenin megys i ganol rhengoedd y gelynion. Yr ydym hefyd yn cael y pleser o weled rhai yn dianc atom, a gobeithio, "i'r noddfa."

Nid wyf wedi clywed yn ddiweddar pa fodd y mae y gwaith yn myned ymlaen yn y pentrefi Cristionogol eraill, oddigerth Nongkynriah. Dywed yr athraw sydd yno fod o 15 i 30 o blant yn dyfod i ddysgu darllen yno, a bod y teulu Cristionogol yn gwneyd ymdrech teg i feistroli y llythyrenau. Mae yn bosibl fod yno fwy yn awr nag a fydd ymhen chwe' mis, am mai peth newydd ydyw ysgol yno; er hyny yr wyf yn dysgwyl llawer oddiwrth y pentref hwn mewn rhyw amser sydd i ddyfod. Mae y teulu Cristionogol yn ymddangos yn rhai go *staunch;* ac y mae yr athraw sydd yno wedi bod bob amser, hyd yn hyn, yn facbgen da ac yn flaenllaw gyda'r gwaith.

Dylaswn ddyweyd, ynglŷn â chario'r tŷ o'r pentref ddoe, ein bod yn bwriadu cario tŷ arall ddydd Mercher nesaf, y teulu yn gynnwysedig o bump, sef gŵr a gwraig a thri o blant bychain. Mae y rhai hyn wedi penderfynu dyfod yn Gristionogion er ys misoedd, ac wedi tori sylfaen tŷ a dechreu gwneyd gardd yn ein hymyl. Yr achos na buasent wedi dyfod yn gynt oedd ein bod yn methu a chael amser i gario eu tŷ, gan fod yr holl bentref yn rhoddi pob diwrnod a allant i wastadhâu o amgylch y capel newydd. Ar ol hyn, pa faint bynag o alwad fydd arnom, nis gallwn gario tŷ neb eto am o leiaf dri mis, gan fod y cynauaf yn ymyl. Bydd rhai yn dechreu cyn pen pymthengnos, a phawb yn ei ganol cyn pen llai na mis. Amser y cynauaf, fel rheol, ydyw yr amser gwaethaf am *fever*, ac y mae amryw eisoes yn dechreu cael cyffyrddiad o honi. Mae yn dda genyf ddyweyd ein bod ni ein tri yn iach.

Mae plant yr ysgol yma yn myned ymlaen yn dda gyda chanu, ac y mae awydd deall cerddoriaeth yn myned yn beth cyffredinol. Yr wyf wedi cael llythyrau gan dri neu bedwar o athrawon o wahanol Ddosbarthiadau yn gofyn am lyfrau tônau yn y Tonic Sol-ffa, fel y rhai yr wyf yn addysgu y plant o honynt. Ond nid oes genyf rai mwy i'w gwerthu i eraill, nac i'w rhoddi yn wobrwyon i'r plant yma. Echdoe cenais ar *Lah lah* i'r plant am y tro cyntaf erioed, rywbeth yn debyg i hyn,

d m r s l s d d r d,

ac ysgrifenodd un eneth ddeg oed ef yn berffaith.

---

## MAWPHLANG.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. DR. GRIFFITHS, DYDDIEDIG HYDREF 12, 1883.

DYDD Mawrth diweddaf dychwelais o Shella, lle yr aethum i weled Mr. Stephens. Yr oedd wedi cyfarfod â damwain ofidus y dydd Mercher blaenorol. Tra yn osgoi tarw gwyllt ar un o'r llwybrau culion sydd yn agos i'r tŷ, trodd ei goes yn y fath fodd fel ag y torodd yr asgwrn, a syrthiodd i lawr ochr y bryn. Da iawn oedd iddo ddianc cystal; ond fel y mae, bydd yn analluog i fyned oddiamgylch am dipyn o amser. Y mae Shella yn lle pur galed i ddyn gyda dwy goes sionc, ddianaf; a bydd yn ofynol i Mr. Stephens gymeryd gofal mawr cyn dechre myned dros yr afon i'r pentref. Yn ffodus iawn y mae yn Shella feddyg Bengalaidd sydd yn deall ei waith yn bur dda, ac yr oedd wedi rhoddi y goes mewn *splints;* ond yr oedd pethau felly yn gwneyd yn anghenrheidiol i Mr. Stephens gadw yn y gwely yn barhâus. Un o'r anffodion mwyaf yn Shella yw y tywydd poeth; ac er mai ychydig ddyddiau yr oedd wedi bod felly pan welais i ef, yr oedd wedi effeithio eisoes ar ei iechyd. Rhoddais ei goes mewn *starch bandage*, fel y gall fyned o gwmpas ar y lle gwastad o amgylch y tŷ gyda baglau, a bydd hyny yn fantais fawr iddo. Aethum oddiyma ddydd Gwener, a dydd Sadwrn aeth Mr. Roberts gyda mi yno. Yr oedd yn beth iawn o'r adeg y gadawsom Mawbeh. Yn anffodus yr oeddym wedi meddwl cyrhaedd Shella yn gynt nag y gwnaethom, ac oblegid hyny heb fyned â dim ymborth i'w fwyta ar y ffordd, fel erbyn cyrhaedd pen ein taith yr oeddym ein dau yn rhy flinderus i fwyta. Erbyn dranoeth yr oeddym wedi dadflino tipyn, a gellais weinyddu ymgeledd i'r claf, a myned i'r capel ddwywaith. Yn un odfa pregethodd Mr. Roberts, a minnau yn y llall. Yr oeddwn yn teimlo yn fawr dros Mrs. Stephens, oblegid y diwrnod y dygwyddodd y ddamwain yr oedd yn myned i lawr o'r bryniau; ac yn Moostoh cyfarfu bobl yn dyfod i fyny i Shella yn dyweyd y pethau mwyaf dychrynllyd am Mr. Stephens; ac yr oedd pawb a welai yn cynnyddu ei

hofnau, trwy eu harfer o fwybâu pethau: un yn dyweyd ei fod yn waed drosto (ni chollwyd mewn gwirionedd yr *un dyferyn* o waed); un arall yn dyweyd nad oedd yn aros ond tipyn o anadl; ac un arall, mewn atebiad i'w chwestiwn, yn dyweyd y byddai yn ddigon buan iddi wybod y gwirionedd ar ol cyrhaedd gartref. Felly yr oedd yn credu yr holl ffordd o Moostoh i'w thŷ fod ei hanwyl briod un ai yn ymyl marw neu *wedi* marw eisoes. Ni welais y fath ddyfeiswyr anwireddau erioed. Yr ydych yn cofio, mae yn debyg, i mi gael siwrnai wâg i Shella amser yn ol oblegid dyfeisiau cyffelyb.

Dydd Llun daethom yn ol, wedi gadael ein cyfeillion yn fwy cysurus o dipyn. Gofalwyd y tro hwn gymeryd ymborth, ac yr oedd yn dda iawn ei gael yn Laitkynsew. Cyrhaeddasom Mawshamok (gŵyr Mr. Lewis yn dda am hwnw, yr wyf yn sicr) tuag un o'r gloch; ac yr oedd yr haul yn nerthol iawn mewn awyr glir yn syth uwch ein penau. Mae yr holl ffordd o yn agos i Laitkynsew hyd yn agos i Mawmluh heb yr un dyferyn o ddwfr, a rhan galed o'r ffordd ydyw hon. Ond y mae yn ymddangos i ddyn caredig o'r lle olaf, o'r enw Kypa U Ensing, ein gweled yn dringo i fyny; ac yn feddylgar iawn cymerodd gangen o *plantains* a photelaid o ddwfr wedi ei lapio â dillad rhag iddo gynhesu, a rhedodd i'n cyfarfod, ac yr oedd yn dda genym eu cael. Gresyn na fuasai y cyfaill hwn yn Gristion, ond credaf nad ydyw ymhell; gwnaeth drugaredd fawr â ni; ac er nad oedd ond potelaid o ddwfr ac ychydig *plantains*, dyma y caredigrwydd mwyaf a dderbyniais gan frodor er pan wyf yn y wlad.

Y mae Mrs. Roberts a thri o'r plant yma yn awr er ys wythnos. Y mae un o'r plant, fel y gwyddoch, wedi bod yn ddrwg iawn gyda'r *dysentery* yn ddiweddar, ac yr oedd un arall o honynt wedi dechre. Yr oedd Mrs. Roberts ei hunan wedi bod yn bur wael. Y maent wedi derbyn lles mawr oddiwrth y cyfnewidiad. Gobeithio y parhâ i ennill nerth.

Y mae yr achos yn myned ymlaen yn gysurus yma ar y cyfan. Y mae y gwrandäwyr yn Mawphlang yn cynnyddu ac yn fwy astud. Bydd genym o 50 i 60 yn yr Ysgol Sabbothol, rhwng rhai rheolaidd a'r rhai a ddaw yn achlysurol. Ein hangen mawr ydyw athrawon ac athrawesau. Y mae yma amryw hefyd sydd yn gwrandaw yn fwy rheolaidd, ac yn dechre dyfod i ddeall crefydd.

Yn Mawreng y mae yr achos dipyn yn fwy llewyrchus nag y bu. Wythnos i'r Sabboth diweddaf, mewn cyfarfod eglwysig a gynnelid mewn cysylltiad â Swper yr Arglwydd yn Mawphlang, derbyniwyd un i'r eglwys o Mawreng. Y mae amryw wedi dyfod i wrando o'r newydd hefyd yn y pentref hwnw, ac yn ymddangos yn lled obeithiol. Ond y mae yno, fel mewn lleoedd eraill, rai yn gallu darllen ac yn deall y Bibl yn lled dda sydd ymhell iawn oddiwrth grefydd. Pe deuent i'r eglwys, neu hyd yn nôd i fod yn wrandäwyr rheolaidd, ac i ddilyn bywyd gweddus, byddent yn golofnau cryfion i'r achos; ond y diafol sydd yn cael gwasanaeth eu gwybodaeth a'u dylanwad hyd yma.

Yn Mawbeh nid ydyw pethau yn llewyrchus iawn. Y mae yr athraw yn troi allan yn ddyn siomedig mewn amryw bethau, ac y mae yn anhawdd gwybod beth i wneyd iddo. Y Sabboth cyn y diweddaf bu raid ei gadw ef a'i wraig a'i fam o'r ordinhâd, trwy i ni gael allan yn hwyr nos Sadwrn fod pethau wedi myned yn anghysurus rhyngddynt. Dydd Llun buom bron drwy y dydd yn ceisio dyfod â hwy i heddwch.

Y Sabboth hwnw bedyddiwyd tri,—U Job, sydd yn fy nghynnorthwyo yn y *Dispensary*, a Ka Mur, athrawes Mawreng, a'i phlentyn. Rhoddwyd swper yr Arglwydd am y tro cyntaf i'r rhai mewn oed, yn gystal ag i U Khraw, athraw Mawreng. Daeth cynnulleidfäoedd lliosog ynghyd, ac yr oedd y gwrandawiad yn astud iawn hyd nes y daeth dau feddwyn i fewn i'r cyfarfod yn agos i'r diwedd, a pharasant dipyn o gynhwrf. Teimlasom yn hapus iawn gyda'r ordinhâd, ac yr wyf yn credu fod Meistr y tŷ ei hunan gyda ni wrth y bwrdd.

---

# Llydaw.

LLYTHYR ODDIWRTH Y PARCH. W. JENKYN JONES, DYDDIEDIG PONT L'ABBE, FINISTERE, 12FED O TACHWEDD, 1883.

FEL y gwyddoch oddiwrth yr hyn a ysgrifenais yn y llythyr o'r blaen, y mae bellach saith wythnos er pan ydwyf yn Pont l'Abbé; ond y mae yr amser yn ymddangos i mi wedi pasio yn hynod o gyflym wrth i mi edrych yn ol arno. Yn y llythyr hwn rhoddaf ychydig ffeithiau mewn cysylltiad â'r lle, y rhai mae yn ddiau genyf fyddant yn ddyddorol i chwi.

Saif Pont l'Abbé oddeutu deuddeg milldir i'r de-orllewin o Quimper; ac er fod y lle oddeutu pum' milldir oddiwrth y môr, gall llongau nad ydynt yn tynu mwy na saith troedfedd o ddwfr ddyfod i fyny hyd yma. Y mae y wlad oddiamgylch yn ffrwythlawn, a'r tir yn hynod ffafriol i godi *avalou douar* (afalau daear) neu *bytates*, ac ystyrir eu bod yn rhagori ar bytatws unrhyw ran arall o'r wlad. Dywedir fod

y ddaear o amgylch Loctudy, ar enau yr afon, y fwyaf cynnyrchiol yn neheubarth Llydaw, a phriodolir hyny i'r ffaith fod y Gulf Stream yn rhedeg gyda'r glanau, ac felly yn codi tymheredd yr awyr. Daw llongau o Loegr a Chymru yma i lwytho pytatws, yn enwedig yn nechre y tymmor. Gwelais agerlong o Abertawe yn Loctudy yn mis Gorphenaf diweddaf.

Y mae y dref yn adnabyddus yn hanesiaeth Llydaw, ac yr oedd yn meddu cryn bwysigrwydd yn y canol-oesoedd. Y mae yma rai hen adeiladau yn aros i ddwyn tystiolaeth i hynafiaeth y lle. Ymysg eraill y mae yma hen gastell a adeiladwyd yn y drydedd ganrif ar ddeg, o adeiladwaith cadarn, ac y mae yn awr yn gwneyd gwasanaeth fel Maerdŷ. Ychwanegwyd darn ato yn yr ail ganrif ar bymtheg, yr hwn sydd yn awr yn cael ei breswylio gan yr heddgeidwaid. Y mae yma a thraw yn y dref amryw o dai sydd wedi eu hadeiladu er ys canrifoedd. O ffenestr yr ystafell lle yr ydwyf yn ysgrifenu, gellir gweled dau dŷ o adeiladwaith da, o geryg nadd, gyda rhai cerfiadau; ac ar gareg yn y mur gwelir eu bod wedi eu codi yn y flwyddyn 1635, hanner can' mlynedd cyn diddymiad *Edict Nantes*, trwy yr hyn yr alltudiwyd y bymthegfed ran o boblogaeth Ffrainc oblegid eu crefydd. Y mae yma hefyd amryw o dai gydag un *storey* yn ymwthio oddeutu llathen y tu allan i'r hyn sydd odditani; weithiau bydd y *storeys* uchaf ddwy neu dair llath y tu allan i'r sylfaen uwch ben yr ystryd. Dyna yr hen ddull o gynnilo y ddaear, yr hyn a wneir yn awr trwy bentyru dwsin o *storeys* ar eu gilydd. Gwelir hen dai cyffelyb yn Quimper, Morlaix, ac amryw o drefi *Breiz Izel* (neu Brydain Isel). Ond yr adeilad sydd yn debyg o dynu mwyaf o sylw yr ymwelydd ydyw lleiandŷ y Carmeliaid, yr hwn sydd eisoes yn adeilad anferth, er nad oes ond ychydig amser er pan sefydlwyd ef; a dywedir eu bod eisoes wedi gallu tyru at eu gilydd lawer iawn o gyfoeth. Yma denir gweddwon ac eraill sydd yn meddu cyfoeth i dreulio eu dyddiau olaf; ac wrth gwrs, o dan ddylanwad y cyffeswr ystrywgar, ar eu gwely angeu cyflwynant eu holl eiddo i'r lleiandŷ, a dyna y cwbl drosodd, —rhyngddynt hwy a chymeryd gafael yn y nefoedd a addewid iddynt drwy y weithred hon. Ni chlywyd son erioed am un o'r tai yma yn myned yn fethdalwyr, er amled y frawdoliaeth a'r chwaeroliaeth sydd yn pwyso ar y cyllidau.

Y mae yn hawdd adnabod trigolion y rhan hon o Lydaw oddiwrth eu gwisg. Y mae y bobl yn hoff o wniadwaith sidan, yn neillduol ar ran uchaf y wasgod, yr hon sydd yn cau ar y naill ochr yn dŷn am y gwddf, fel y gwelir gan wŷr offeiriadol. Bydd y sidan o liwiau tanbaid, gan mwyaf o liw melynaidd; a bydd y sidanwaith y naill gylch tu allan i'r llall, oddeutu pump neu chwech modfedd o led, ac yn cyrhaedd o naill ochr y fynwes i'r llall. Gwisga y gwragedd wisg wedi ei haddurno yn gyffelyb ar y fynwes. Nid ychydig o waith sydd ar y gwisgoedd hyn, ac nid ychydig y maent yn ei gostio; a gwna llawer yma eu bywioliaeth oddiwrthynt. Ychydig fynydau yn ol gwelais briodas yn pasio; a gallaf sicrhâu fod yr argraff oddiwrth y gwisgoedd hyn—y rhai, bid siwr, ar y fath achlysur oeddent y rhai goreu—yn hynod o ddymunol. Y mae y gwisgoedd hyn wedi eu haddurno y ddwy ochr, un o honynt yn fwy prydferth na'r llall, ac yn gwneyd gwasanaeth ar achlysuron pwysig a neillduol, fel yr amgylchiad uchod; a byddant yn cael eu cau i fyny â rhes o fotymau (melynion yn gyffredin) er mwyn gwneyd argraff ar y llygad. Y mae siaced y gwŷr gryn dipyn yn ferach na'r wasgod, ac yn rhy fechan o oddeutu chwe' modfedd i ddyfod at ei gilydd ar y fynwes, er fod ganddynt res neu ddwy o fotymau melynion y naill ochr a'r llall, am tua dwy fodfedd oddeutu y canol, nad ydynt yn ymddangos i ni yn ateb yr un pwrpas; ond i lygad y Pont l'Abbist y maent, mae yn debyg, yn ychwanegu at brydferthwch y siaced. Y mae yn syndod i ni sut y dechreuwyd y wisg yma, ac yn fwy o syndod fyth sut y mae wedi parhâu am oesau heb, dybygid, ond ychydig o gyfnewidiad. Un peth y sylwais arno ydyw nad ydynt yn dwyn ar eu cefnau (yn ol arfer Quimper, Rosporden, &c.) ddarlun mewn gwniadwaith sidan o'r *ostensoir*, neu yr offeryn sydd yn cadw y *wafer* cysegredig a roddir yn y cymun, a'r hwn a godir yn gyffredin gan yr offeiriad i fendithio y gynnulleidfa ar ddiwedd y cyfarfodydd. Y mae y llodrau, neu y *bragou*, yr un modd yn fyr; o'r braidd y mae yn cyrhaedd y migwrn; ond gwnant i fyny am hyn drwy roddi digon o led ynddo. Y mae eu dillad yn gyffredin yn cael eu gwneyd o frethyn da, yn abl i gadw allan y gwlaw; ac o ran hyny ni bydd y Llydawiaid yn malio llawer am y gwlaw. Plethant eu breichiau ynghyd, ac yna gyda chetyn bychan du, hanner maintioli gwniadur, yn eu cegau, byddant yn hollol gysurus, gwlawied a wlawio. Yr hyn sydd yn hynodi y gwragedd fwyaf yn eu dull o wisgo ydyw y penwisg, neu y *coeff*, yr hwn a elwir y *bigwden*. Y mae ymhell o fod yn brydferth, a thybiwn ei fod yn ddigon i dynu ymaith oddiwrth brydferthwch y gwynebpryd mwyaf hardd, ac mai gwaith anhawdd fyddai dyfeisio *coeff* yn llai cymhwys i fenywod y wlad yma, y rhai sydd yn gyffredin yn wrywaidd yr olwg arnynt, ac yn meddu gwynebau es-

gyrnog, oblegid eu bod yn gweithio llawer ar y meusydd haf a gauaf, tra y bydd y gwŷr yn pysgota, neu yn cario y pysgod at y *train* i Quimper, i'w hanfon i'r farchnad yn Paris. Crynhoant y gwallt i fyny ar y coryn, ar ryw fath o gap amrywliwiog (weithiau gyda gwaith aur neu arian arno) yn ffitio yn dýn am y pen, gan guddio y clustiau yn hollol o'r golwg; a choronir yr oll â rhyw damaid bychan o benwisg lliain, yn ymgrynhoi i bwynt neu *big* (ac y mae yn bosibl mai dyna sydd wedi rhoddi yr enw arno), gan guddio y talcen; a chan ei fod yn cael ei gylymu yn dŷn o dan y gên, gwthia allan y cnawd a rhydd wedd fwy gwrywaidd arnynt nag sydd arnynt mewn gwirionedd. Syn fod penwisg mor hagr wedi gallu sefyll ei dir am oesoedd, er y dywed Sir Thomas Browne yn ei *Religio Medici*, nad oes genym hawl i ddefnyddio geiriau fel hyn, ein bod ni yn galw yr aith yn hagr, oblegid ein hanwybodaeth o'r amcan oedd gan y Creawdwr wrth ei gwneyd felly, ac nad oes dim yn hagr sydd yn cyrhaedd ei amcan. Ond pa un bynag ai tyfu yn naturiol wnaeth y penwisg yma o amgylchiadau neillduol y bobl, gellid meddwl mai hawdd y gellid cael heddyw benwisg yn ateb yr un dyben, ac yn llawer mwy prydferth; ond prydferth neu beidio, nid yw y gwragedd yma yn ymddangos yn awyddus i'w newid. Dylaswn ddyweyd hefyd eu bod yn gwisgo ffedogau, tebyg o ran lliw a llun i'r rhai a wisgid gynt gan wragedd yn Nghymru, ac fel y gwneir eto, o ran hyny, mewn rhanau amaethyddol.

*(I'w barhâu.)*

---

## TERFYN BLWYDDYN ARIANOL Y GENADAETH.

YN y Gymanfa Gyffredinol a gynnaliwyd yn Abertawe, penderfynwyd fod blwyddyn arianol y Gymdeithas Genadol Dramor i derfynu rhagllaw ar ddiwedd Rhagfyr.

Rhaid i'r holl gyfraniadau y dysgwylir cyfrif am danynt yn yr Adroddiad nesaf fod yn llaw y Trysorydd Cyffredinol cyn neu erbyn Rhagfyr 31ain

Taer erfynir ar i drefniadau gael eu gwneuthur yn ddioed ymhob eglwys i wneyd y Casgliad Cenadol ar adeg fyddo yn sicrhâu iddo gael ei anfon i mewn yn brydlawn.

Dymunir ar i'r Trysoryddion a'r Ysgrifenyddion Sirol neu leol sydd yn meddu nifer o Docynau Casglu neu Flychau Cenadol i wneuthur y cyfnewidiad angenrheidiol gyda newidiad terfyniad y flwyddyn,—rhoddi Rhagfyr yn lle Mawrth.

## Y CASGLIAD CENADOL.

DYMUNIR galw sylw neillduol at y penderfyniad canlynol a basiwyd gan y Gymanfa Gyffredinol ddiweddaf.

Ein bod yn annog ar fod i'r casgliad cenadol gael ei anfon o bob eglwys i'r Trysorydd Cenadol perthynol i'r Cyfarfod Misol, ac nid yn uniongyrchol i'r Trysorydd Cyffredinol; ac ar fod i restr o enwau y tanysgrifwyr, &c., gael ei hanfon i'r Ysgrifenydd Cenadol perthynol i'r sir, er mwyn iddo ef, mewn cysylltiad â'r Trysorydd Sirol, barotoi rhestr o'r holl gasgliadau cenadol yn y sir i'w chyhoeddi yn yr Adroddiad blynyddol.

---

## DERBYNIADAU TUAG AT Y GENADAETH.

DYMUNA y Trysorydd Cyffredinol gydnabod ei fod wedi derbyn y symiau canlynol er pan wnaed yr hysbysiad diweddaf.

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Oddiwrth Ap Robert, i'w hanfon i Mr. Jerman Jones i'w rhanu ymysg yr eglwysi sydd mewn mwyaf o anghen am gymhorth | 10 | 0 | 0 |
| J. and E. Thomas, College Street, Lampeter | 2 | 0 | 0 |
| A.E.R., i'r Parch. R. Evans tuag at ddodrefn y capel newydd yn Shangpoong | 0 | 5 | 0 |
| Mr. W. Owen, Colwyn Bay, i Dr. Griffiths, i'w defnyddio fel y *gwelo ef yn* fwyaf priodol | 1 | 0 | 0 |
| At y Genadaeth | 5 | 0 | 0 |
| Willie Jones, Twrgwyn, Sir Aberteifi—bachgen amddifad 11 oed,—"ennillion trwy negeseuau," &c. (Gobeithia "fod yn alluog i gyfranu ychwaneg yn y blynyddoedd dyfodol) | 0 | 6 | 0 |
| Casgliad Plant Cemmaes, *Sir Drefaldwyn* | 1 | 5 | 4 |
| Manchester, trwy law Dr. John Roberts | 60 | 0 | 0 |
| Fitzclarence Street (ychwanegol) | 0 | 10 | 0 |

*Tachwedd* 15*fed*, 1883.

---

D.S. Gellir cael Blychau Cenadol a *Thocynau* ond ymofyn â'r Ysgrifenydd. Anfoner, hyd y byddo modd, trwy un o'r swyddogion eglwysig neu swyddogion yr Ysgol Sabbothol.

Derbynir rhoddion at y Genadaeth gan y Trysorydd, JOHN GRIFFITH, ESQ., 72 *Tower Buildings, Water Street, Liverpool.*

☞ Gellir talu unrhyw swm mewn unrhyw gangen o'r *North and South Wales Bank, to the credit of Mr. John Griffith, Treasurer of the W. C. Foreign Missionary Society.*

Derbynir rhoddion at Drysorfa Gweddwon ac Amddifaid y Cenadon, gan Drysorydd y gronfa hono, DAVID ROBERTS, *Esq.*, 63 *Hope Street, Liverpool.*

Pob llythyrau yn achos y Gymdeithas i'w cyfeirio i'r Ysgrifenydd, *The Rev.* JOSIAH THOMAS, M.A., 28, *Breckfield Road South, Liverpool.*

P. M. EVANS AND SON, ARGRAFFWYR, TREFFYNNON.